gan eu gwneuthur yn wrryw a benyw. Ar yr unrhyw ddydd hefyd y ffurfiwyd dyn. Yn ganlynol i hyn Moses a ddywed ddarfod mewn chwe' diwrnod wneuthur y byd a'r hyn oll oedd ynddo: a'r seithfed dydd ydoedd ddydd o orphwysdra ac ymneillduad oddiwrth lafur y cyfryw weithredoedd; o herwydd pa un yr ydym ni, trwy barchus goffhau am dani, yn gorphwys oddiwrth ein llafur ein hunain, a'r dydd hwnnw a elwir y Sabbath, yr hwn air yn Hebraeg sydd yn arwyddo gorphwysdra.

Moses wedi darfod adrodd am y seithfed dydd, a ddechreu lefaru mewn dull philosophyddol;* ac ymherthynas i ffurfiad dyn y dywed, I Dduw gymmeryd o lwch neu bridd y ddaear † a'i wneuthur yn ddyn, gan ddodi ynddo yspryd‡ ac enaid rhesymmol. Y dyn hwnnw a gyfenwyd Adda, pa ryw enw yn Hebraeg sydd yn arwyddo un coch, o herwydd fod y ddaear ddilwgr o'r hon y ffurfiwyd ef, o'r lliw hwnnw yn ol ei chreadigaeth cyntaf. Duw hefyd, trwy ei orchymmyn, a barodd i'r creaduriaid byw a greasai efe, o bob rhywogaeth, yn wrryw a benyw, ymddangos i Adda; yr hwn a roddes gyfryw enwau iddynt ag oedd yn arwyddo eu naturiaethau, wrth ba rai yr oeddynt rhag llaw i gael eu gwahaniaethu. Ac wedi ystyried fod Adda yn ymddifad o gymmar addas ei hun i gyd-ymgyfeillachu, a'i fod yn rhyfeddu tu ag at y creaduriaid eraill, pa rai ydoedd o bob rhywogaeth yn wrryw a benyw; efe a barodd i drymgwsg syrthio arno, gan gymmeryd o hono un o'i asennau, o ba un y ffurfiodd wraig § i fod yn ymgeledd gymmwys iddo. Yn ganlynol Adda a'i hadnabu pan ei dygwyd hi atto, ac a addefodd ei gwneuthuriad o hono ef. Yn awr gwraig neu ddynes a elwir Issa yn Hebraeg; eithr y wraig hon a gyfenwid Efa, yr hyn oedd yn arwyddo Mam pob dyn byw.

Y mae Moses ym mhellach yn mynegi, ddarfod i Dduw blannu gardd baradwysaidd yn y Dwyrain, ag ydoedd flodeuog o bob math o brennau ffrwythlawn, ym mysg pa rai yr oedd pren y bywyd, ac arall a elwid yn bren gwybodaeth, trwy ymborthi ar ffrwyth pa un y gwybyddid gwahaniaeth rhwng da a drwg: ac wedi dodi Adda a'i wraig i breswylio ynddi, efe a orchymmynodd iddynt ofalu pa fodd yr arferent ffrwyth y planhigion. Yn awr yr ardd honno a ddyfrhasid gan un afon, ‖ pa un oedd yn amgylchynu yr holl ddaear, ac a ddosparthid yn bedair rhan: sef, Pison, yr hon a arwyddai tyrfa, pa un sydd a'i rhediad i India, ac yn ymarlloes i'r môr, ac a elwir Ganges gan y Groegiaid. Euphrates hefyd yn gystal a Tigris, a ânt i wared i'r Môr Coch ¶ Yn awr yr enw Euphrates neu Phrath, sydd yn arwyddo gwasgarfa neu flodeuyn. Wrth Tigris, neu Diglath, yr arwyddir culni gyd â chyflymdra. A Gihon, neu Geon sydd a'i rhedegfa trwy 'r Aipht, ac yn arwyddo 'r hyn sydd a'i gyfodiad o'r Dwyrain; yr hon hefyd gan y Groegwyr a elwir Nilus.

Duw yn ol hynny a orchymmynodd i Adda a'i wraig fwytta o ffrwyth y prennau oll, eithr ymgadw o honynt rhag y pren gwybodaeth; gan rag-fynegi os cyffyrddent â hwnnw y profai

* Yn gymmaint a bod Josephus yn ei ragymadrodd yn crybwyll i Moses draddodi rhai pethau yn ei 'sgrifeniadau mewn dull dammegol, eraill yn gyffelybiaethol, a phethau eraill mewn geiriau eglur; ac am nad yw yn ei hanes o'r bennod gyntaf o Genesis, ynghyd â'r tair adnodau cyntaf o'r ail bennod, yn rhoddi un amnaid am ddirgelwch ynddynt; eithr wedi dyfod at adn. 4, &c. efe a ddywed fod Moses ar ol crybwyll am y seithfed dydd, yn llefaru mewn dull philosophyddol; nis gellir amnan na ddeallodd efe am y rhannau eraill o'r ail a'r drydydd bennod, eu llefaru mewn dull dammegol, cyffelybiaethol, neu philosophyddol. Y cyfnewidiad o enw Duw yn y lle uchod o'r ysgrythyr, o ELOHIM i JEHOFAH ELOHIM, o DDUW i ARGLWYDD DDUW, yn Hebraeg, a ymddengys hefyd fel yn cadarnhau y cyfryw ddychymmygol gyfnewidiad yn nhrefn yr hanes neu gyfansoddiad. † Gen. ii. 7.

‡ Meddyliodd Josephus fod dyn wedi ei gyfansoddi o yspryd, enaid, a chorph, gyd â St. Paul, 1 Thess, v. 23. ac eraill o'r hynafiaid. Mewn lle arall efe a ddywed hefyd ddarfod gwahardd bwytta gwaed anifeiliaid, megis peth i'w ystyried ag oedd yn cynnwys ynddo enaid ac yspryd,

§ Gen. ii. 22.

‖ O ba le y daeth y dychymmyg dieithr hwn, ag a gyfrifir nid yn unig i Josephus, eithr Dr. Hudson a ddywed, fod ei ddechreuad oddiwrth awdwyr hynach, megis pe buasai pedair o'r afonydd mwyaf yn y byd, pa rai ag oedd a dwy o honynt a'u rhediad ryw bellder mawr rhyngddynt a'u gilydd, trwy ryw fodd yn dyfrhau Paradwys, yr hyn sydd anhawdd yn awr ei gredu: ond yn unig fel ag y mae Josephus eisoes yn ymddangos megis yn golygu 'r hanes yn gyffelybiaethol, gan ddal sulw fod enwau y pedair afonydd â gwahanol arwyddoccad iddynt; dichon ein bod ysgatfydd yn ei gam-ddeall, wrth dybied ei fod yn meddwl y pedair afonydd uchod mewn ystyr lythyrennol; yn enwedig mewn perthynas i Geon neu Nilus, yr hon sydd a'i tharddiad o'r Dwyrain; pan yr un pryd y gwyddai yn dda fod y Nilus lythyrennol yn cyfodi o'r Dehau. Ond pa ystyriaeth gyffelybiaethol oedd ymhellach yn ei olwg mewn perthynas iddynt, sydd anhawdd yn awr ei ddirnad.

¶ Wrth y Môr Coch ni feddylir Llychlyn neu Gul-for Arabia, yr hwn yn unig yn bresennol a elwir wrth yr enw hwnnw; ond hefyd yr holl Fôr Deheuol a gynnwysai y Môr Coch a Chul-for Persia, cyn belled a'r India Ddwyreiniol, fel y mae Reland a Hudson yn uniawn farnu, wrth waith yr hen hanesyddion.




A MAP OF THE GARDEN OF EDEN,
BEFORE GOD DESTROYED IT WITH THE FLOOD.

yn ddinystr iddynt. Ac fel yr oedd yr holl greaduriaid byw âg un iaith iddynt y pryd hwnnw;* y sarph, pa un oedd yn cyd drigo âg Adda a'i wraig ym Mharadwys, a ddangosodd ynddi dymmer gynfigennus tu ag at eu cyflwr o happusrwydd, ynghyd â'u hymostyngiad i orchymmyn Duw; a chan wybod os anufuddhaent iddo y syrthient i drallod a blinfyd; yr hon âg amcan dichellgar ganddi, a berswadiodd y wraig i brofi o ffrwyth y pren gwybodaeth, gan haeru mai yn ffrwyth y pren hwnnw yr oedd gwybodaeth da a drwg; pa ryw wybodaeth pan ei meddiannent a chwanegai eu dedwyddwch, ac a'u gosodai mewn cyflwr cydradd â duwiau: † trwy 'r ymresymmiad yma y sarph a hudodd y wraig, ac a'i perswadiodd i dorri gorchymmyn Duw. Yn awr wedi profi o ffrwyth y pren gwybodaeth, a'i boddhau ganddo, hi a berswadiodd ei gwr hefyd i gymmeryd o hono; ac wedi iddynt ill dau gyflawni y weithred hon, hwy a wybuant eu bod yn noethion. Yn yr agwedd hon hwy a gywilyddiwyd rhag ymddangos o amgylch, ac a geisiasant orchuddio eu hunain â dail ffigys wedi eu cyd-wnïo, a'u clymmu o'u hamgylch yn arffedogau; canys y ffrwyth a fwyttasent a awchlymmodd eu deall a'u teimlad o ddiffyg yr hyn ag oeddynt mewn angen am dano. Wedi gwneuthur hyn hwy a ddychymmygent eu bod yn ddedwyddach nag o'r blaen, gan ddatguddio iddynt y peth ag oeddynt o'r blaen yn fyrr o'i fwynhau. Ond wedi dyfod o Dduw i'r ardd, Adda, yr hwn o'r blaen a ymddiddanai yn gyfeillgar âg ef, yn awr wedi ei argyhoeddi o'i ddrwg ymddiried a giliodd o'i ffordd ef. A Duw yn rhyfeddu wrth yr ymddygiad hwn, a ymofynodd am yr achos o hono; a phaham yr oedd efe, yr hwn o'r blaen a ymhyfrydai yn y gymdeithas honno, yn awr yn ei gwrthod, ac yn ymdrechu i'w gochelyd? Pan na wnaeth efe un attebiad, ac megis yn gwybod ynddo ei hun ddarfod iddo droseddu gorchymmyn Duw, Duw a ddywedodd, "Myfi a benderfynais gynt pa ffordd y gallech fwynhau bywyd o wynfydedigrwydd, heb dristwch, gofid, na gofalon; a phori i'r cwbl a dueddai i weini cyssur a lleshad i chwi o'r greadigaeth, darddu allan trwy fy rhagluniaeth o honynt eu hunain, heb eich poen a'ch llafur chwi mewn perthynas iddynt; yr hwn fywyd o lafur a lludded a bryssura heneiddiad, pa un nis gallai fod ym mhell oddiwrth farwolaeth. Ond yn awr ti a gamarferaist fy ewyllys da, canys nid yw dy ddistawrwydd yn arwyddo daioni, ond drwg-euogrwydd dy gydwybod." Pa fodd bynnag Adda a geisiodd ei ddieuogi ei hun, ac a ymbiliodd â Duw na ddigiai efe wrtho, gan osod bai y weithred a wnelsid ar y wraig, a dywedyd ei dwyllo ef ganddi, ac mai wrth hynny y darfuasai droseddu. Hithau drachefn a gyhuddodd y sarph, ac a osododd arni yr un beiau. Eithr Duw a bennododd gospedigaeth i Adda oblegid ei bechod a'i wendid yn ymostwng i gyngor gwenieithiol ei wraig; gan dystio na roddai'r ddaear ei ffrwyth iddynt mwyach o honi ei hun; a phan lafurid hi ganddynt na roddai ond ei rhannol ffrwythau, ac yr attelid y gweddill oddiwrthynt. Duw hefyd, yn gospedigaeth ar Efa, a'i darostyngodd i anghyfleusderau perthynol i genhedliad, a phoenau dirfawr wrth esgor ar blant; a hynny oblegid ei gwaith yn hudo Adda â'r un rhesymmau ag yr hudasid hithau â hwynt gan y sarph, gan ei ddwyn trwy hynny i'r un aelaethus gyflwr â hi ei hunan. Er dïal ar y sarph am ei hamcan maleisus i ddrygu Adda a'i wraig, ymddifadwyd hi o'i dawn ymadrodd, gan osod gwenwyn dan ei thafod, a'i gwneuthur yn elyn i ddynolryw, i ba rai y dygwyd ar ddeall i gyfeirio eu hergydion at ei phen, oblegid mai yno y llettyasai ei drwgfwriad tu ag attynt. Ac wedi cymmeryd ymaith oddiwrthi ddefnyddioldeb ei thraed, efe a barodd iddi ymlusgo a threiglo ar ei thorr ar hyd y ddaear. Ac wedi i Dduw ddatgan y cospedigaethau uchod, efe a yrrodd Adda ac Efa allan o'r ardd baradwysaidd, ‡ i breswylio mewn lle arall.

---

*Oddiyma fe ymddengys, fod Josephus yn deall y gallai amryw o'r creaduriaid direswm, yn enwedig y sarph, lefaru cyn y cwymp; ac fe dybir na foes ond ychydig o'r rhywogaethau perffeithiaf â'r cymmwysiadau ymadroddol yn ddiffygiol ynddynt. Amrywiol annogaethau sydd hefyd i'r dŷb honno, mai nid eu cyflwr presennol ydoedd eu cyflwr dechreuol neu greadigol, a bod eu cymmwysiadau yn llawer mwy neu helaethach mewn 'stad o dumiweidrwydd, nac yn bresennol.

† Gen. iii. 5.

‡ Gen. iii. 23.

## PENNOD II.

*Am Hiliogaeth Adda, a'r deg Cenhedlaethau o'i amser ef hyd y Diluw.*

YR ydoedd i Adda ac Efa ddau o feibion;* yr hynaf o ba rai ydoedd Cain, yr hwn enw pan ddeongler, sydd yn arwyddoccau meddiant. Yr ieuangaf ydoedd Abel, pa un sydd yn arwyddo tristwch. Yr ydoedd merched hefyd iddynt.

Yn awr y ddau frawd a foddlonent eu hunain â gwahanol dueddiadau mewn bywyd; canys Abel, yr ieuangaf, ydoedd yn caru cyfiawnder, a chan gredu fod Duw yn bresennol yn ei holl gyflawniadau, efe a ragorodd mewn rhinwedd, a'i swydd ydoedd bugeilio defaid. Ond yr oedd Cain nid yn unig yn ddrygionus mewn pethau eraill, ond a'i fryd yn gwbl ar elwa, ac efe yn gyntaf a ddyfeisiodd y gelfyddyd o aredig y ddaear. Efe a laddodd ei frawd ar yr achos canlynol:—hwy a benderfynasant aberthu i Dduw; yn awr Cain a ddug o flaenffrwyth y ddaear, ac o'i hwsmoneidd-dra; ond Abel a ddug laeth a blaenffrwyth ei ddiadell; eithr Duw† a fu boddlawn i'r offrymmiad diweddaf, o herwydd ei anrhydeddu â'r hyn a darddai yn naturiol o hono ei hun, yn hytrach nac â'r hyn a ddygid o'i flaen o ddyfais dyn cybyddlyd, yr hyn a gawsai trwy rwygo 'r ddaear. Cain, gan hynny, ydoedd dra digllon o herwydd i Dduw gymmeradwyo Abel yn hytrach nac ef: o herwydd paham efe a roddes ei frawd i farwolaeth, gan guddio ei gorph ef, a disgwyl i'w ddrwg weithred ddiangc rhag ei hamlygu. Ond Duw yn gwybod yr hyn a wnaethid, a ddaeth at Cain, gan ofyn iddo, 'Pa beth a ddaethai o'i frawd? am na's gwelsai efe ef er 's llawer o ddyddiau; a'i fod yn sylwi ar eu cyd-ymddiddanion gynt, mewn amserau aethant heibio.' Ond yr oedd Cain mewn amheuaeth am dano ei hun pa fodd i wneud attebiad. Yn gyntaf fe ymddangosodd megis pe buasai ei hun mewn coll am anymddangosiad ei frawd: ond pan wasgwyd yn drwm arno gan Dduw, i fynnu gwybod yr hyn a ddigwyddasai, efe a attebodd, 'Nad ceidwad ei frawd ydoedd efe, ac na sylwiodd ar yr hyn a wnaethai.' Ond yn ei dro Duw a argyhoeddodd Cain, megis un wedi bod yn llofrudd i'w frawd, gan ddywedyd, 'Yr wyf yn rhyfeddu wrthyt na 's gwyddost pa beth a ddaeth o ddyn, yr hwn y darfu i ti â dy ddwylaw dy hun ei ddifetha.' Pa fodd bynnag, ni osododd Duw yn y fàn gospedigaeth marwolaeth arno, o blegid ei waith yn aberthu, ac wrth hynny gwneud ei erfyniau na ddangosai angerdd ei ddig tu ag atto. Eithr efe a draethodd felldith arno, ac a fygythiodd ei hiliogaeth yn eu seithfed genhedlaeth. Efe hefyd a'i gyrrodd, ynghyd a'i wraig, o'r tir yr oeddynt yn preswylio ynddo: a phan syrthiasai ofn arno, rhag trwy grwydro o amgylch y difethid ef gan fwystfilod, a thrwy hynny y darfyddai am dano; Duw a'i rhagrybuddiodd na chynnwysai y fath feddyliau am ei ddiogelwch, ond myned rhagddo ar hyd y ddaear, heb arswydo pa niweid a gyfarfyddai; a chan osod nôd arno fel yr adnabyddid ef, Duw a orchymmynodd iddo ymadael.‡

Wedi ymdeithio o Cain trwy amryw wledydd, efe, ynghyd a'i wraig, a adeiladasant ddinas a enwid Nod,§ pa ryw fan a elwid felly; ac yno y gwnaeth efe ei drigfa, ac y cenhedlwyd plant iddo. Eithr ni chymmerodd ei gospedigaeth arno i'r diben o wellhad bywyd, ond i gynnyddu yn ei ddrygioni; canys nid oedd ei amcan i fwynhau dim ond a dueddai i ddedwyddwch corphorol, er gorfod cael hynny trwy wneud niweid i'w gymmydogion. Efe a chwanegodd ei enwogrwydd teuluaidd trwy amlder o gyfoeth, yr hwn a feddiannai drwy yspail a gorthrech: ac a ddaeth yn arweinydd dynion i bob math o ymarferiadau drwg. Efe a gyfnewidiodd y dull syml o fywiolaethu oedd ym mhlith dynion o'r blaen; ac efe

---

*Gen. iv. a'r canlyniad. †Y rhsewm a ddengys St. Ioan, paham y gwnaethai Duw dderbyniad o offrwm Abel, ac y gwrthododd yr eiddo Cain; a phaham y lladdasai Cain ei frawd, o herwydd ei gymmeradwyad gan Dduw, sydd lawer gwell na 'r eiddo Josephus; sef, fod Cain o'r drwg, trwy 'r hyn y lladdodd efe ei frawd: "A phaham y lladdodd ef? Oblegid bod ei weithredoedd ef yn ddrwg, a'r eiddo ei frawd yn dda." 1 Ioan iii. 12. Nid yw rheswm Josephus yn ymddangos yn well yma na dychymmyg neu draddodiad Phariseaidd.

‡Am y gospedigaeth yma a draethir ar Cain yn y seithfed genhedlaeth, a chospedigaeth Lamech yn ei saith ddengwaith a seithwaith genhedlaeth; ac hefyd am y nôd a osodwyd ar Cain a'i hiliogaeth, gwelwch waith ar Gyflawniad Llythyrennol y Prophwydoliaethau Ysgrythyrol, gyd â Chwanegiad, t. d. 106—134. §Gen. iv. 16.

ydoedd awdwr mesurau a phwysau. A phan yr oeddynt yn byw yn ddiniweid a chymmwynasgar tra na wybuant ddim am y cyfryw gelfyddydau, efe a newidiodd y byd i gyfrwysdra a dichellgarwch. Efe yn gyntaf a osododd derfynau i diroedd: efe a adeiladodd ddinas, ac a osododd gaer o'i hamgylch, gan orchymmyn i'w dylwyth ddyfod ynghyd iddi, a'i henwi yn ol enw ei fab cyntaf,* Enoch. Yn awr Jared ydoedd fab Enoch, mab yr hwn ydoedd Malaliel, mab yr hwn ydoedd Mathusela, mab yr hwn ydoedd Lamech, yr hwn oedd ag iddo dri-ugain a dauar bymtheg o blant, a genhedlasai o ddwy wraig, Sila ac Ada. O'r cyfryw blant o Ada, yr ydoedd Jabal, yr hwn oedd wneuthurwr pebyll, ac yn hoffi yn y swydd o fugeilio. Ond Jubal, yr hwn a anwyd o'r un fam ag ef, a ymarferodd ei hun i gerddoriaeth, † ac a ddyfeisiodd wneuthuriad offerynnau, megis y saltring a'r delyn. Tubal, un o'r meibion a genhedlasai o wraig arall, a ragorodd ar bawb mewn grymmusder, ac ydoedd fedrus a gwrol i ryfela. Efe a ynnillodd yr hyn a berthynai i fwyniant corphorol trwy 'r moddion hynny; ac efe ydoedd y cyntaf a ddyfeisiodd wneuthuriad pres. Lamech hefyd ydoedd dad un ferch a elwid Naama. A chan ei fod mor gyfarwydd mewn pethau perthynol i ddwyfol ddatguddiad, efe a ddeallodd ei fod yn ddarostyngedig i'r gospedigaeth a draethasid ar Cain am ladd ei frawd, yr hyn hefyd a amlygodd i'w ddwy wragedd. Ac Adda etto yn fyw, hiliogaeth Cain a aethant yn dra llygredig ac annuwiol, a hynny i fwy graddau y naill ar ol marwolaeth y llall. Yr oeddynt tu hwnt i raddau yn ymrysongar, ac yn haerllug mewn ymarferiad o yspeilio; ac os oedd rhai yn fwy hwyrfrydig nag eraill i lofruddiaeth, yr oeddynt yn hyfion mewn ymddygiad sarrug, a gweithredoedd anghyfiawn er mwyn elw.

Yn awr Adda, yr hwn ydoedd y dyn cyntaf a luniasid o'r ddaear, (canys ein traethiad sydd raid fod yn awr am dano ef) wedi lladd Abel, a ffoi o Cain ymaith oblegid ei lofruddiaeth, yr oedd dymuniad Adda ar fod iddo hiliogaeth drachefn, ac efe yn awr yn ddau cant a deg ar hugain mlwydd o oedran, ar ol pa amser y bu efe byw saith gan' mlynedd eraill, ac yna y bu efe farw. Yr ydoedd iddo yn wir ‡ amryw blant eraill, ond Seth yn neillduol. Am y lleill fe fyddai 'n faith eu henwi hwynt. Crybwyllaf gan hynny yn unig am y rhai a darddodd oddiwrth Seth. Yn awr wedi i'r Seth hwn gael ei ddwyn i fynu, a chyrraedd i flynyddau ym mha rai y gallai ddirnad yr hyn oedd dda, efe a dyfodd yn ddyn rhinweddol: ac fel yr ydoedd ei hun a gair da odiaethol iddo, felly hefyd y gadawodd efe § blant o'i ol ag a ddilynasant ei rinweddau. Y rhai hyn oll a ymddangosasant â thueddiadau da ynddynt; yr oeddynt hefyd yn preswylio yr un wlad, heb ymrysonau yn eu mysg; o gyflwr dedwyddol, ac heb ddim anhap yn eu gorddiwes hyd eu marwolaeth. Hwynt hwy oeddynt ddarlunwyr y rhan ryfeddol honno o wybodaeth ynghylch y cyrph nefolaidd, a'u graddau. Ac fel na ddiddymmid eu datguddiedigaethau hwynt cyn eu deall yn ddigonol, ar ragfynegiad Adda am ddinystr y byd trwy rym tân ryw amser i ddyfod; a phryd arall trwy lifeiriant anocheladwy o ddyfroedd; gosodasant i fynu ddwy golofn, un o briddfeini a'r llall o gerrig: || ac ar bob un yr argraphasant arwyddion eu datguddiedigaethau; fel os difethid y golofn o bridd-feini gan ddiluw, yr arosai y golofn gerrig, ac y dangosai y datguddiedigaethau hynny i ddynolryw.

* Gen. iv. 7. † Oddiwrth y Jubal hwn y deilliodd nid yn amhriodol y gair Jobel, ac udgorn Jobel neu Jubilee, yr offeryn helaeth ac uchelsain hwnnw a ddefnyddid ar gyhoeddiad y rhyddid ym mlwyddyn y Jubilee.

‡ Rhifedi plant Adda, fel y dywed hen draddodiad, ydoedd dri ar ddeg ar hugain o feibion, a thair ar hugain o ferched.

§ Yr hyn a adroddir yma am Seth a'i hiliogaeth, eu bod yn llawn daioni a rhinwedd, ac hefyd yn dra dedwydd, heb nemmawr o aflwydd arnynt dros saith o genhedlaethau, sydd yn cyfatteb i gyflwr y byd, a threfniadau rhagluniaeth yn yr oesoedd cyntaf o hono.

|| Am gamsyniad Josephus yma, pan gymmerodd Seth fab Adda, yn lle Seth neu Sesostris brenin yr Aipht, yr hwn a adeiladodd y colofnau hyn yn nhir Siriad, gwelwch Brawf-draethawd ar yr Hen Destament, gyd â Chwanegiad, t. d. 159---160. Er y dichon fod y rhan fwyaf o'r adroddiad hwn yn wirionedd, a darfod i Adda rag-fynegi am losgiad y byd trwy dân, a'i orchuddiad gan ddiluw, yr hyn beth a dystia hynafiaeth ei fod o draddodiad boreuol; ac hefyd, y gallai hiliogaeth Seth gerfio neu argraphu arwydd o'u datguddiadau astronomyddol ar y fath golofnau; etto nid yw debygol mewn un modd y byddent weledig ar ol y diluw, pan gladdwyd pob rhyw golofnau ac adeiladau ym mhell is-law wyneb y ddaear, â gwaelodion ei ddyfroedd; yn enwedig gan fod y cyffelyb golofnau o eiddo y Seth neu Sesostris Aiphtaidd, yn sefyll ar ol y llifeiriant, yng ngwlad Siriad, ac ysgatfydd yn nyddiau Josephus hefyd.

ryw; ac i hyspysu iddynt hefyd fod colofn arall o bridd-feini wedi ei hadeiladu ganddynt. Yn awr y mae hwn yn aros yn nhir Siriad, hyd y pryd hwn.

## PENNOD III.

*Am y Diluw: achubiad Noah a'i deulu mewn Arch; ei fynediad allan o honi, ynghyd â'i Farwolaeth.*

HILIOGAETH Seth a barhäodd i addef a chydnabod Duw fel Arglwydd y greadigaeth, gan ddilyn rhinwedd a moesau da dros saith o genhedlaethau; eithr ym mhen talm o amser hwy a lygrwyd, ac a ŵyr-dröwyd oddiwrth ymarferiadau eu hynafiaid; ni roddasant yr anrhydedd i Dduw a ordeiniasid iddynt, ac ni ofalent am gyfiawnder tu ag at ddynion: ond yn lle yr awyddfryd a ymddangosai gynt ynddynt at yr hyn oedd dda, tueddasant yn awr at bob math o ddrygioni, a thrwy hynny gwnaethant Dduw yn elyn iddynt. Canys llawer o angylion* Duw a ymgyfeillachasant† â gwragedd, y rhai a ynnillasant feibion iddynt a dyfasant yn anghyfiawn, ac yn ddirmygwyr yr hyn oll oedd dda, trwy hyderu ar eu nerth a'u gwroldeb eu hunain; canys y traddodiad yw, ddarfod i'r rhai hyn gyflawni y cyfryw weithredoedd ag oedd yn tebygu i ymarferiad y rhai a elwid gan y Groegiaid, cawri. Ond yr oedd Noah yn dra anesmwyth oblegid eu cyflawniadau; a thrwy anfoddloni i'w hymddygiad, efe a'u hannogodd i newid eu ffyrdd a'u gweithredoedd, er gwell. Ond wrth ganfod nad oeddynt yn ymostwng iddo, ond parhau yn gaethweision i'w hannuwiol bleserau, yr ydoedd yn arswydo rhag ei ladd ganddynt, ynghyd â'i wraig a'i blant, a'r rhai hefyd a briodasent; ac felly efe a ymadawodd o'u mysg hwynt.

Yn awr yr oedd Duw yn caru y dyn hwn o herwydd ei gyfiawnder; etto efe nid yn unig a gondemniodd eraill am eu drygioni, ond hefyd a benderfynodd ddifetha holl ddynolryw, a chreu cenedl arall a fyddai burach oddiwrth bob anwiredd; gan fyrhau eu dyddiau, a pheri nad estynnent eu blynyddoedd i'r amldra a fwynhaent o'r blaen, ond y byddent yn ugain mlynedd a chant ‡ yn unig. Efe a droes y sychdir yn fôr; ac felly y difethwyd yr holl drigolion hynny. Eithr Noah yn unig a gadwyd, canys Duw a amlygodd iddo ef y ffordd ganlynol o waredigaeth:—Bod iddo wneuthur arch o bedwar uchder, tri chan cufydd§ o hyd, deg cufydd a deugain o led, a deg cufudd ar hugain ei huchder. Yn ganlynol efe a aeth i mewn i'r arch, ynghyd â'i wraig, ei feibion a'u gwragedd hwynt; ac a osododd ynddi nid yn unig luniaeth i ddiwallu eu hangenrheidiau yno; ond hefyd efe a gasglodd i mewn bob rhywogaeth o greaduriaid, yn wryw a benyw; ac o'r rhai a gyfrifid yn lân o honynt bob yn saith, ‖ fel y cedwid yn fyw eu rhywogaeth. Yn awr yr oedd parwydydd cadarn, a chronglwyd i'r arch hon, wedi ei chwplysu â chroes-dylathau, fel na allai mewn un modd suddo, neu gael ei dadymchwel gan ryferthwy y dyfroedd: y modd yma y cadwyd Noah a'i deulu. Yn awr efe oedd y degfed o Adda, megis ag yr oedd yn fab Lamech, tad yr hwn ydoedd Mathusela; efe ydoedd fab Enoch, fab Jared; a Jared ydoedd fab Malaleel; yr hwn, gyd ag amryw chwiorydd, oeddynt blant Cain, mab Enos; ac Enos ydoedd fab Seth, mab Adda.

Y trychineb hwn, sef y diluw, a ddigwyddodd yn y chwe chanfed flwyddyn o lywodraeth neu oed Noah, yn yr ail mis, ¶ a elwid gan y Mace-

* Y dyb yma, mai yr angylion syrthiedig oeddynt, mewn rhyw ystyr, dadau yr hen gawri, a draddodid yn wastadol gan hynafiaeth.

† Gen. vi. 4.

‡ Mae Josephus yma yn dychymmygu fod bywydau y cawri hyn, canys ymherthynas iddynt hwy yn unig yr wyf yn ei ddeall, wedi eu byrhau i ugain mlwydd a chant; canys am y rhan arall o ddynolryw y mae Josephus ei hun yn cyfaddef fod eu bywydau yn llawer ychwaneg nag ugain mlynedd a chant, tros amryw genhedlaethau yn ol y diluw, fel y canfyddwn ar fyrder; ac y mae yn dywedyd eu byrhau yn raddol hyd ddyddiau Moses, ac yna eu sefydlu tros yspaid o amser yn ugain mlynedd a chant. Ac nid yw angenrhaid yn wir i ni ystyried fod Enoch na Josephus yn meddwl deongl yr ugain mlynedd a chant hyn o fywydau dynion cyn y diluw, megis yn gwahaniaethu oddiwrth yr ugain mlynedd a chant o amynedd Duw (ysgatfydd tra y darperid yr arch) hyd y diluw; yr hyn, fel yr wyf yn deall, ydoedd amcan Duw, pan fygythiodd y byd anwireddus hwnnw, fel os parhaent cyhŷd a hynny yn anedifeiriol, na estynnid eu dyddiau i ychwaneg nag ugain mlynedd a chant.

§ Cufydd sydd ynghylch un ar hugain o fodfeddi seis'nig.

‖ Gen. vii. 2.

¶ Mae Josephus yma yn cywir farnu, fod y flwyddyn pan ddigwyddodd y diluw yn dechreu ar amseriad y Cyhydedd Hydrefol. Ymherthynas i ba ddydd o'r mis y dechreuodd y diluw, ein hysgrifeniadau Hebreaidd, Samaritanaidd, ac ysgatfydd yr eiddo Josephus ei hun, yn fwy cywir a'i cyfrifant ar yr eilfed dydd a'r bymtheg, yn lle y seithfed a'r hugain, megis yma; canys y mae Josephus yn cyttuno â hwy am y pelldra o un cant a deg a deugain o ddyddiau, hyd yr eilfed dydd a'r bymtheg o'r seithfed mis, megis yn Gen. vii. 24. gyd â'r viii. 3.

*The Third or Upper Floor.*

MIDDLE PASSAGE




*The Second Floor.*

MIDDLE PASSAGE




*The First or Lowest Floor.*

MIDDLE PASSAGE






VIEW AND PLAN OF NOAH'S ARK.

doniaid Dius; ond gan yr Hebreaid Marhesvan: canys felly yr oeddynt yn trefnu eu blynyddau yn yr Aipht. Ond Moses a ordeiniodd i Nisan, yr hwn yw yr un â Xanthicus, i fod yn fis cyntaf; fel ag yr oedd y mis hwn yn ddechreuad y flwyddyn, mewn perthynas i'r uchel-wyliau a gedwid er anrhydedd i Dduw: eithr efe a ymgadwodd yn ol trefn gyntaf y misoedd wrth brynu a gwerthu, ac ymherthynas i achosion cyffredin eraill. Yn awr y mae 'n dywedyd, ddarfod i'r diluw ddechrau ar yr eilfed dydd ar bymtheg o'r mis dywededig; a hyn ydoedd y flwyddyn un mil, pum cant, ac un ar bymtheg a deugain yn ol Adda y dyn cyntaf; a'r amser a nodir yn ein llyfrau cyssegredig ni, wedi i'r * rhai ag oeddynt yn byw y pryd hynny osod yn gywrain mewn coffadwriaeth, amser genedigaeth a marwolaeth dynion hynodfawr.

Canys Seth yn ddiammau a anwyd pan oedd Adda yn ddau gant a deng mlwydd ar hugain o'i oedran, yr hwn a fu fyw naw cant a deg ar hugain o flynyddoedd. Seth a genhedlodd Enoch pan oedd yn ddau cant a phum mlwydd o oedran; yr hwn, wedi iddo fyw naw cant a deuddeg o flynyddoedd, a orchymmynodd y llywodraeth i'w fab Cain, yr hwn a genhedlasai pan oedd yn gant a deng mlwydd a phedwar ugain o oedran. Efe a fu fyw naw cant a phump o flynyddoedd. Wedi byw o Cain naw cant a deg o flynyddoedd, efe a gafodd ei fab Malaleel, yr hwn a anwyd iddo pan oedd efe yn gant a deng mlwydd a thrugain o oedran. Yn ol i'r Malaleel hwn fyw wyth gant a phymtheg a phedwar ugain o flynyddau, efe a fu farw, gan adael ar ei ol ei fab Jared, yr hwn a genhedlodd pan ydoedd yn gant a phum mlwydd a thrugain o oedran. Efe a fu fyw naw cant a dwy a thrugain o flynyddau, ac yna ei fab Enoch a ddaeth yn ei le ef, yr hwn a anesid pan ydoedd ei dad yn gant a dwy a thrugain mlwydd o oedran. Yn awr efe, wedi byw dri chant a phum mlwydd a thrugain, a ymadawodd ac a aeth at Dduw. Oddiyma yr ydoedd nad ysgrifenwyd am ei farwolaeth ef. Yn awr Mathusela, fab Enoch, yr hwn a anwyd iddo pan ydoedd efe yn gant a phump a thrugain mlwydd o oedran, a gafodd Lamech yn fab iddo, pan ydoedd yn gant a saith mlwydd a phedwar ugain o oed; i'r hwn y rhoddodd i fynu y llywodraeth, wedi ei meddiannu am naw cant a thrugain o flynyddau. Yn awr Lamech wedi llywodraethu dros saith gant a dwy ar bymtheg a thrugain o flynyddau, a osododd Noah ei fab yn llywodraethwr ar y bobl; yr hwn a anesid i Lamech pan ydoedd yn un cant a dwy flwydd a phedwar ugain o oedran; ac a feddiannodd y llywodraeth naw cant a deg a deugain o flynyddau. Y blynyddau hyn wedi eu cyd-gasglu a wnant i fynu y nifer a raggrybwyllwyd. Ond na ymofyned neb am farwolaethau y dynion hyn, canys hwy a gyd-estynent eu dyddiau ynghyd a'u plant a'u hwyrion; ond sylwier yn unig ar eu genedigaeth hwynt.

Wedi i Dduw roddi arwydd o'r diluw, a dechreu o hono wlawio, y dwfr a dywalltodd i lawr dros ddeugain niwrnod cyflawn, nes ei chwyddo yn bymtheg cufydd† uwchlaw'r ddaear; yr hyn oedd yr achos paham na achubwyd rhifedi mwy o ddynion, am nad oedd ganddynt un lle i ffoi iddo. Wedi peidio o'r gwlawogydd, nid oedd y dwfr ond dechreu treio ym mhen cant a deg a deugain o ddyddiau, ar yr eilfed dydd ar bymtheg o'r seithfed mis. Ar ol hyn yr arch a orphwysodd ar ben rhyw fynydd yn Armenia; yr hyn pan ddeallodd Noah, efe a'i hagorodd; ac wedi canfod ychydig dir o'i amgylch, efe a arososodd yn llonydd, gyd â rhyw radd o obaith am ymwared. Ym mhen ychydig ddyddiau yn ol hynny, wedi treio o'r dyfroedd yn rhagor, efe a anfonodd allan gigfran, megis yn ewyllysio gwybod a ydoedd rhyw ran arall o'r ddaear wedi sychu oddiwrth ddwfr, a pha un a allent fyned o'r arch yn ddiangol; ond wedi cael o'r gigfran yr holl dir etto yn llifeirio o ddwfr, hi a ddychwelodd drachefn at Noah. Ond yn ol saith ddi-

* Y mae Josephus yn sylwi yma, ddarfod nodi yr achau hynafiaethol hyn yn gyntaf i lawr gan y rhai ydoedd yn byw y pryd hwnnw, a'u trosglwyddo ganddynt hwy i wared i'w hiliogaeth, yr hwn mae 'n debygol sydd gyfrifiad cywir oblegid hynny; canys nid yw resymmol i ddychymygu, na addysgwyd dynion i ddarllen ac ysgrifennu yn fuan ar ol eu dysgu i siarad; ac ysgatfydd y cwbl gan y Messiah ei hun, yr hwn, dan y Tad, ydoedd greawdwr a llywodraethwr dynolryw, a'r hwn yn fynych yn yr amserau boreuol hynny a ymddangosai iddynt.

† Gen. vii. 20.

wrnod ymhellach efe a anfonodd allan golommen i gael gwybod ansawdd y ddaear, yr hon a ddychwelodd yn ol atto wedi ei gorchuddio â llaid, gan ddwyn gyd â hi ddeilen olewydden. Wrth hyn y deallodd Noah fod y ddaear wedi ei rhyddhau oddiwrth y diluw. Felly yn ol aros o hono saith niwrnod yn ychwaneg, efe a yrrodd y creaduriaid byw allan o'r arch; ac efe ynghyd â'i deulu a aethant allan o honi; pan hefyd yr offrymmodd efe i Dduw,* ac y gwleddodd gyd â'i gyfeillion. Yr Armeniaid a alwent y man y gorphwysodd yr arch,† lle y disgynfa: canys wedi achubiad yr arch yn y lle hwnnw, y gweddillion o honi a ddangosir gan y preswylwyr hyd y dydd hwn.

Yn awr y mae'r holl haneswyr cenhedlig yn crybwyll am y diluw hwn, ac am yr arch; ym mysg pa rai y mae Berosus, y Caldead; canys pan oedd efe yn desgrifio amgylchiad y diluw, mae'n myned rhagddo yn y modd hwn;—'Mynegir fod etto ryw rannau o'r llong yn Armenia, wrth fynydd y Cordyæaid; a bod rhai pobl yn dwyn ymaith ddarnau o'r pŷg, y rhai a ddefnyddient yn bennaf fel cyfaredd, i luddias rhyw ddrygau rhag eu goddiweddyd.' Hieronimus yr Aiphtiad hefyd, yr hwn a ysgrifenodd Hynafiaethau y Phenisiaid; a Manaseas, ac amryw eraill a grybwyllant y cyffelyb. Ië, Nicolaus o Ddamascus, yn ei unfed llyfr ar bymtheg a phedwar ugain, sydd ag adroddiad neillduol am danynt, pan ddywed fel hyn, 'y mae mynydd uchel yn Armenia, uwch Minyas, a elwir Baris, ar ba un, fel y dywedir, yr achubwyd llawer a ffoisant yno yn amser y diluw: a darfod i un a ddygwyd mewn arch, ddyfod i'r lann ar ben y mynydd hwn; ac i weddill ei phrennau neu fyrddau gael eu cadw dros hir amser: dichon mai y dyn hwn ydoedd yr un yr ysgrifenodd Moses deddfwr yr Iuddewon am dano.'

Eithr am Noah, yr ydoedd yn arswydo, gan i Dduw benderfynu difetha dynolryw trwy ddiluw, rhag gwneuthur o hono hynny bob blwyddyn. Yn ganlynol efe a aberthodd boeth-offrymmau, ac a ymbiliodd ar Dduw am i naturiaeth gael ei chynnal ym mlaen yn ol ei dull arferol, ac na ddygai y fath farn arswydus arni drachefn, trwy 'r hyn y byddai pob rhyw o greaduriaid mewn perygl o gael eu difetha; eithr yn awr wedi cospi y rhai drygionus, y byddai iddo o'i ddaioni arbed y gweddill, y cyfryw ag a farnodd efe yn addas i'w gwaredu rhag y fath drychineb; canys oddieithr hynny bydd raid fod cyflwr y rhai diweddaf hyn yn druenusach na 'r rhai cyntaf, a'u hamgylchiad yn waeth na hwynt, heb i ddiangfa gael ei threfnu iddynt rhag diluw arall. Efe hefyd a erfyniodd ar Dduw wneuthur derbyniad o'i aberth, a chaniattâu na byddai i'r ddaear drachefn fyned dan y fath effeithiau o'i anfoddlonrwydd; a bod i ddynion gael myned ym mlaen yn siriol yn eu llafuriad; adeiladu dinasoedd, a byw yn gysurus ynddynt; ac na ddifuddid hwynt o unrhyw beth daionus ag ydoedd yn cael ei fwynhau ganddynt cyn y diluw; ond bod iddynt gyrraedd oedran henaint, megis y cyrraeddasai eraill iddo mewn amserau rhagflaenol.

Wedi i Noah wneuthur yr erfyniadau hyn, Duw, yr hwn oedd â chariad iddo oblegyd ei gyfiawnder, a fu boddlon i'w weddïau; ac a ddywedodd, 'nad efe ydoedd yr un a ddygasai y fath ddinystr ar fyd o halogedigion, ond darfod iddynt hwy fyned tan y dialedd hynny o herwydd eu hanwireddau eu hunain; ac na ddygasai efe ddynion i'n byd, pe buasai â bwriad i'w difetha hwynt; ac y buasai yn fwy arwydd o ddoethineb i bedio â chyfrannu bywyd iddynt, nag ar ol ei ganiattâu i orchymmyn eu dinystrio hwynt. Ond y cam,' eb efe, 'a gynnygiasant i'm cyfiawnder a'm sancteiddrwydd, a'm rhwymodd i ddwyn y gospedigaeth arnynt; ond gadawaf heibio dros yr amser a ddaw i orchymmyn y fath gospedigaeth, effeithiau y fath fawr ddigofaint, am

*Gen. viii. 20. †Y lle hwn o ddisgyniad yw'r deongliad priod am enw Armenaidd y ddinas hon. Gelwir hi yng ngwaith Ptolomy Naxsuana, a chan Moses Chorenensis, yr hanesydd Armenaidd, Idsheuan; ond yn y lle ei hun Nichidsheuan, yr hyn sy'n arwyddo y lle cyntaf o ddisgynfa:, ac y mae yn arwydd parhaus o waredigaeth Noah yn yr arch hon ar frig y mynydd, wrth droed pa un yr adeiladwyd hi, megis y dref neu 'r ddinas gyntaf ar ol y diluw. Gwel Hynaf. xx. 2. a Moses Chorenensis, t. d. 71, 72. yr hwn hefyd a ddywed, t. d. 19, ddarfod adrodd am dref arall, trwy draddodiad, a elwid Seron neu le'r gwasgarfa, o herwydd gwasgariad cyntaf Xisuthrus neu feibion Noah oddiyno. Pa un a oes gweddillion o'r arch etto yn y wlad honno, fel y dywed rhai, sydd beth amheus.

eu hannuwiol ymddygiadau; ac yn enwedig ar gyfrif dy weddïau di. Ac os bydd im' ar un pryd anfon tymhestloedd anarferol o wlaw ar y ddaear, na ddychryner di gan helaethrwydd y cawodydd, canys ni orchuddir wyneb y ddaear mwyach â dyfroedd. Pa fodd bynnag, yr wyf yn gorchymmyn i chwi ymgadw rhag tywallt gwaed dynion, a chadw eich hunain yn lân oddiwrth lofruddiaeth, a chospi y sawl a wnel y fath weithred; yr wyf yn caniattâu i chwi wneuthur defnydd o'r holl greaduriaid byw eraill, yn ol eich ewyllys, canys mi a'ch gosodais chwi i arglwyddiaethu arnynt oll; sef, o'r rhai a ymsymmudant ar dir, a'r rhai a nofiant yn y dyfroedd, a'r rhai a ehedant trwy eithafoedd yr awyr uchod, oddigerth y gwaed, canys yn hwnnw y cynnwysir y bywyd. Ond mi a roddaf arwydd i chwi ddarfod i'm ddodi fy nigter heibio trwy fy mwa;* wrth yr hwn y meddylir yr enfys; canys hwy a benderfynent am yr enfys mai bwa Duw ydoedd. Ac wedi i Dduw lefaru, a rhoddi addewid yn y modd hwn, efe a aeth ymaith.

Yn awr wedi i Noah fyw dri chant a deg a deugain o flynyddau yn ol y diluw, a hynny yn gyssurus, efe a fu farw; ac efe yn naw cant a deg a deugain mlwydd o oedran: ond na fydded i neb, wrth gydmaru oed yr hynafiaid â'n hoedran ni, ac â'r ychydig flynyddau sydd gennym ni yn awr i fyw ynddynt, feddwl mai anwir yw 'r hyn a adroddasom ni am danynt; neu olygu byrdra ein henioes ni yn bresennol fel prawf na ddarfu iddynt hwy gyrhaeddyd i'r fath amlder o ddyddiau ac estyniad blynyddoedd; canys yr hynafiaid hyn oeddynt anwyl gan Dduw, ac yn ddiweddar a greuasid gan Dduw ei hun; ac o herwydd fod nattur eu hymborth y pryd hynny yn fwy rhinweddol tu ag at fywyd hir-hoedlog, o herwydd yr hyn y gallent yn hawdd gyrhaeddyd y fath rifedi o flynyddoedd. Ac heblaw hyn, feganiattaodd Duw amser hwy iddynt oblegyd eu rhinwedd, a'r defnydd da a wnaethant o hono mewn myfyrdodau a datguddiedigaethau astronomyddawl, &c. yr hyn ni fuasai amser yn rhoddi achlysur digonol iddynt i ragfynegu amgylchedd y sêr, oddieithr iddynt fyw chwe chant o flynyddoedd, o blegid y flwyddyn fawr a gyflawnid yn yr yspaid hwnnw.

Yn awr y mae gennyf dystion am yr hyn oll a grybwyllais oddiwrth y rhai a ysgrifenasant ar hynafiaeth, sef, ym mhlith y Groegiaid a'r Barbariaid; canys Manetho yn bendant, yr hwn a ysgrifenodd hanesion yr Aipht; a Berosus, yr hwn a gasglodd y coffadwriaethau Caldeaidd; a Mochus, a Hestiæus; ac heblaw y rhai hyn, Hyeronimus, yr Aiphtiad, a'r sawl a gyfansoddasant yr Hanes Phenisiaidd, ydynt oll yn cyttuno â'r hyn a draddodais yma. Hesiod † hefyd, a Hecatæus, a Hellanicus, ac Acusilaus; ac heblaw y rhai hyn, Ephorus a Nicolaus sydd yn adrodd, fod yr hynafiaid yn byw fil o flynyddoedd. Ond, ymherthynas i hyn, golyged pawb ef yn y dull ag y byddont yn dewis.

## PENNOD IV.

*Am Dŵr Babilon, a chymmysgiad yr Ieithoedd.*

MEIBION Noah ydoedd dri, Sem, Japhet, a Ham, y rhai a anwyd ynghylch un cant o flynyddoedd cyn y diluw. Y rhai hyn a ddisgynnasant yn gyntaf o'r mynyddoedd i'r gwastadedd, gan sefydlu eu preswylfa yno, ac annog eraill i wneud yr un modd, ag ydoedd yn arswydo trigo yn y gwastadtir oblegid y diluw; felly yr oeddynt yn dra hwyrfrydig i ymadael â'r lleoedd uchel, a dilyn eu siamplau hwynt. Yn awr y gwastadedd pa un y trigasant gyntaf ynddo a elwid Shinar. Duw hefyd a orchymmynodd iddynt anfon trefedigion ar led, fel y poblogid yr holl ddaear, ac na thyfai ymrysonau yn eu mysg eu hunain, ond y llafurid rhan fawr o'r ddaear, ac y mwynhaent o'i ffrwythau yn helaethlawn:

* Gen. ix. 13.

† Yn gymmaint a bod y copiau Lladin yn crybwyll yma Isiodorus, yn lle Hesiodus; y mae Vossius, ac ysgatfydd Hudson, yn cael eu tueddu i ystyried yma, fod yr ysgrifenydd yn meddwl Isiodorus Characenus, yr hwn a brofodd am frenhinoedd a deyrnasasant nifer mawr o flynyddoedd. Ond gan fod y copiau Groegaidd yn crybwyll yn barhaus am Hesiod, a chan fod Hesiod yn dywedyd fod einioes dynion unwaith o'r fath hyd, a bod yn eu cyfrif ond megis babanod pan yn gan mlwydd o oed, yr hyn wyf barod i'w gredu. Ond pa gofrestr o awdwyr hynafol sydd i'w cael, y rhai a gadarnhant yr Hanes gyssegredig yn un o'i changhenau mwyaf anghyrraeddadwy! At yr hyn pe darfuasai i Josephus chwilio gwaith yr awdwyr Lladinaidd megis y rhai Groegaidd, gallasai chwanegu Varro, y dysgediccaf o'r Rhufeiniaid, yr hwn a wnaeth yr ymofyniad canlynol, 'Beth allai fod yr achlysur o feddwl ddarfod i'r hynafiaid gynt fyw mil o flynyddoedd?'

ond hwy a gam-addysgwyd mor fawr fel nad ufuddhasant i Dduw, trwy 'r hyn y syrthiasant i flinderau a' thrallodion, ac a'u gwnaethpwyd yn deimladwy trwy brofiad pa fath bechod yr oeddynt yn euog o hono: canys pan flodeuasant gan luosogrwydd o ieuengctyd, Duw a'u rhybuddiodd drachefn i anfon trefedigion ar led; ond hwy gan ddychymmygu fod eu llwyddiant presennol yn tarddu, nid oddiwrth flafr Duw, ond mai eu grym eu hunain ydoedd briodol achos eu dedwyddwch, nis ufuddhasant iddo. Ië, hwy a chwanegasant at yr anufudd-dod hwn i'r dwyfol ewyllys eu gwag dybiau, mai eu hannog yr oeddid i wasgaru yn wahanol drefedigion, fel wedi hynny y byddent yn fwy darostyngedig i gael eu gorthrymmu.

Yn awr Nimrod ydoedd yr un a'u hannogodd y modd yma i ddigio a dirmygu Duw; efe oedd ŵyr i Ham mab Noah, gwr hŷ ac â llaw gadarn mewn llywodraeth. Efe a'u perswadiodd na byddai iddynt gyfrif eu happusrwydd i Dduw, ond i gredu mai trwy eu hymdrech a'u cefnogrwydd yr oeddynt i ddyfod i fwynhau dedwyddwch. Efe hefyd yn raddol a gyfnewidiodd ddull y llywodraeth i ormesrwydd, heb weled un ffordd arall i ddychwelyd dynion oddiwrth ofn Duw, ond trwy eu hudo i ymddibynnu yn gwbl ar ei alluogrwydd ef ei hun. Dywedodd hefyd, 'yr ymddialai ef ar Dduw, os amcanai foddi y byd drachefn; o herwydd yr adeiladai efe dŵr rhy uchel i'r dyfroedd ei orchuddio; ac y mynnai ddangos ei ddïal ar Dduw am ddifetha eu cyn-deidiau.'

Yn awr y llïaws ydoedd dra pharod i gyd uno â Nimrod yn ei amcanion, gan ei gyfrif yn fath o lwfrdra a digalondid i ymostwng i Dduw; a hwy a adeiladasant dŵr, heb arbed un math o boen, na bod mewn un radd yn esgeulus yng nghylch y gorchwyl; ac oblegid amldra y rhai a lafurient wrtho, darfu iddo gynnyddu mewn uchder yn gynt nag y disgwyliwyd; yr oedd ei drwch mor fawr, a'i waith mor gadarn, fel na ymddangosodd mor uchel ag ydoedd, wedi manwl sylwi arno. Yr ydoedd wedi ei wneud o briddfeini a losgasid, a'u cyssylltu ynghyd â phridd-galch gludiedig, fel na ollyngai ddwfr iddo. Pan welodd Duw hwynt yn gweithredu mor rhyfygus, ni ymroddodd i'w difetha yn gwbl, gan na thyfasant yn ddoethach trwy ddistrywiad y pechaduriaid o'r blaen; eithr efe a barodd derfysg yn eu mysg hwynt, trwy genhedlu ynddynt amrywiaeth ieithoedd, a pheri wrth hynny iddynt fod yn annealius y naill o ymadrodd y llall. Y lle ym mha un yr adeiladasant y tŵr a elwir yn awr Babilon, o herwydd cymmysgedd yr iaith honno pa un a ddeallant yn dda o'r blaen; canys yn Hebraeg ystyr y gair Babel,* yw cymmysgedd. A Sibyl† (prophwydes genhedlig) sydd hefyd yn crybwyll am y tŵr, a chymmysgiad yr ieithoedd, pan ddywed yn y modd hwn:—'Pan ydoedd pob dynion yn un-iaith, rhai o honynt a adeiladasant dŵr uchel, megis pe buasent trwy hynny ar fedr esgyn i'r nefoedd, ond y duwiau trwy anfon tymmestl o wynt nerthol, a ddadymchwelodd y tŵr, ac a rannodd i bob un ei iaith neillduol ei hun; ac oblegid hyn y galwyd y ddinas lle 'r ydoedd yn sefyll, Babilon.' Ond ymherthynas i wastadedd Shinar, yng ngwlad Babilonia, Hestiæus sy'n crybwyll am dani pan ddywed, 'Cynnifer o'r offeiriaid ag a waredwyd a gymmerasant lestri cyssegredig Jupiter Enyalius, ac a ddaethant i Shinar yn Babilonia.'

## PENNOD V.

*Am y Drefn a gymmerodd Hiliogaeth Noah i anfon allan Drefedigion, a phoblogi amrywiol barthau 'r ddaear.*

YN ol hyn hwy a wasgarwyd ar led o herwydd amrywiaeth eu tafodiaith, ac a aethant ymaith yn lluoedd gwahanol tu a'r mannau y tueddwyd hwynt; pob llwyth neu genedl a gymmerasant feddiant o'r wlad i ba un yr arweiniwyd hwynt gan Dduw, fel y llanwyd yr holl gyfandir â hwynt, ynghyd a'r ynysoedd

* Gen. xi. 29.

† Gwel y dystiolaeth yma yn yr iaith wreiddiol, ac yn fy nghyhoeddiad Seis'nig o'r Oraclau Sibylaidd, t. d. 11, 93, 94. ond yno y mae ar gynghanedd, ac yma mewn darlleniad, y rheswm o ba wahaniaeth nid wyf mewn un modd yn deall. Ond yr hynodrwydd mwyaf yma yw, fod Moses Corenensis, yr hanesydd Armenaidd, yn cadarnhau yr hanes hon; sef, ddarfod i Dduw ddadymchwel y tŵr hwn trwy dymmestl ddychrynllyd a gwyrthiol, a dyrysu iaith yr adeiladwyr; yr hyn a adroddir gan goffadwriaethau mwyaf boreuol y genedl honno.

a gwledydd arforawl. Rhai hefyd a aethant dros y moroedd mewn llongau, ac a breswyliasant yr ynysoedd; a rhai o'r cenhedlaethau sydd etto yn cadw y cyfryw enwau ag a roddwyd iddynt gan eu sefydlwyr cyntaf; eraill a'u collasant; a rhai yn unig a oddefasant ychydig o gyfnewidiadau ynddynt, fel y byddent yn fwy dealladwy i'r trigolion; y Groegiaid oeddynt y rhai a fuont awdwyr y fath newidiad; o herwydd pan yn yr oesoedd canlynol y tyfasant yn gedyrn, hwy a honuent iddynt eu hunain yr enwogrwydd o hynafiaeth; gan osod y cyfryw enwau ar genhedlaethau ag a swniai yn hardd yn Groeg, fel y deallid hwy yn well yn eu mysg eu hunain, a throsglwyddo iddynt hefyd ffurfiau cymmeradwy o lywodraeth, fel pobl a darddasai o'u cenedl eu hun.

## PENNOD VI.

*Y modd yr enwyd Cenhedlaethau yr amrywiol Wledydd oddiwrth eu Preswylwyr cyntaf.*

YN awr ŵyrion Noah ydoedd y rhai hynny, er anrhydedd pa rai y dodwyd enwau ar genhedlaethau yr amrywiol wledydd y daethant gyntaf i'w meddiannu. Yr ydoedd i Japhet mab Noah saith o feibion; hwy a sefydlasant felly, fel gan ddechreu wrth y mynyddoedd Taurus ac Amanus, hwy a aethant ym mlaen ar hyd Asia mor bell a'r afon Tanais, a thrwy Ewrop hyd yn Cadiz, gan sefydlu eu hunain yn y tiroedd a ddewisasant, pa rai ni phreswyliasid o'r blaen. Galwasant y cenhedlaethau ar eu henwau eu hunain; canys Gomer a sefydlodd y rhai a eilw y Groegwyr Galatiaid, ond a elwid y pryd hynny Gomeriaid. Magog a sefydlodd y rhai hynny a elwid oddiwrtho ef Magogiaid, ond gan y Groegwyr Scythiaid. Yn awr ymherthynas i Javan a Madai, meibion Japhet: oddiwrth Madai y tarddodd y Madeaid neu Mediaid yn Groeg; ond oddiwrth Javan a Jonia yr oedd y Groegiaid oll yn tarddu. Thobel a sefydlodd y Theobeliaid, a enwir yn awr Iberes; a'r Mosocheni, a elwir yn awr Capadosiaid, a sefydlasid gan Mosoph. Y mae hefyd nodau neu arwyddion eu cyfenwad hynafol i'w ganfod hyd yn hyn; canys y mae yn awr yn eu mysg ddinas a elwir Mazaca, yr hyn a all hyspysu y rhai dealladwy mai felly y gelwid y genedl honno yn ei dechreuad. Thiras hefyd a alwodd y rhai y llywodraethodd efe drostynt Thirasiaid, ond y Groegiaid a'i newidiodd i Thrasiaid; a chynnifer a hyn ydoedd y gwledydd a gafodd meibion Japhet yn breswylfëydd iddynt.

Am dri mab Gomer, Ascanacs a sefydlodd yr Ascanacsiaid, y rhai yn awr gan y Groegwyr a elwir Rheginiaid; Riphath a sefydlodd y Ripheniaid, a elwir yn bresennol Paphlagoniaid; a Thrugramma y Thrugrenmiaid, pa rai a alwai y Groegwyr Phrygiaid. Am dri mab Javan hefyd, fab Japhet, Elisa a ddododd enw i'r Eliseaid, y rhai ydoedd ddeiliad iddo, ac a elwir yn bresennol Æoliaid; Tharsus a roes enw i'r Tharsiaid, canys felly gynt y gelwid y Silisiaid, yr arwydd-nôd o'r hyn yw, fod y ddinas bennaf a berthyn iddynt, pa un a elwir hefyd eu mam-ddinas, yn cael ei chyfenwi Tausus, wedi newid y llythyren Hebraeg *Theta* am *Tau*. Cethimus a feddiannodd yr ynys Cethima. Gelwir hi yn awr Cyprus; ac oddi wrth honno yr ynysoedd, a'r rhan fwyaf o barthau glàn y môr o amgylch, a gyfenwid Cethim gan yr Hebreaid; ac y mae un ddinas yn Cyprus a gadwodd ei dechreuol enw a elwir Citius gan y rhai a arferant iaith y Groegiaid, ac ni ddarfu trwy arferyd eu priod-iaith hwy golli yr enw Cethin: a chynnifer a hyn o wledydd cymmydogaethol a ddarfu i blant ac ŵyrion Japhet etifeddu. Yn awr gan i'm addaw ym mlaen-llaw crybwyll rhyw beth nad yw 'r Groegiaid ysgatfydd yn ei wybod, mi ddychwelaf i egluro yr hyn a adewais ar ol; canys yr enwau uchod a draddodwyd yma yn ol dull y Groegiaid i foddhau fy narllenwyr; canys nid yw ein iaith ein hunain yn eu swnio felly; ond yr enwau ym mhob treigl-ymadrodd ydynt yn cadw at yr un terfyniad; o herwydd y gair a gyfenwir ganddom ni Noeus, a elwir yno Noah, ac ym mhob achos yn cadw yr un diweddiad.

Meibion Ham a feddiannasant y tiroedd o Syria ac Amanus a mynyddoedd Libanus, gan oresgyn yr holl barthau arforawl a'u meddiannu

fel yr eiddo eu hunain. Rhai yn wir o'r enwau hynny a ddiflanasant; eraill sydd wedi eu cyfnewid, ac enwau gwahanol wedi eu rhoddi arnynt fel na ellir ond yn anhawdd eu dirnad; etto y mae ychydig a gadwasant eu henwau megis cynt; canys o bedwar mab Ham, ni newidiodd amser oll mo enw Cus; canys yr Ethiopiaid, ar ba rai y teyrnasodd, a elwir ganddynt eu hunain, a chan drigolion Asia, Cusiaid. Coffadwriaeth y Mesraiaid hefyd a gedwir ynghrybwylliad eu henw; canys nyni oll y rhai a etifeddwn wlad Judea a alwn yr Aipht Mestre, a'i thrigolion Mestreaid. Phut hefyd, mab arall i Ham, ydoedd sylfaenwr Libya, ac a alwodd y trigolion Phutiaid oddiwrtho ei hun; y mae hefyd afon yng ngwlad yr Ethiopiaid ag sydd yn dal yr enw hwnnw, oblegyd paham y mae y rhan fwyaf o'r haneswyr Groegaidd yn crybwyll am yr afon honno, ynghyd â'r wlad gymmydogaethol a elwir wrth yr enw Phut; ond yr enw sydd iddi yn awr a darddodd oddiwrth un o feibion Mestraim, pa un a elwid Lybyos. Nyni a hyspyswn ar fyrr beth a fu 'r achos o'i galw hefyd Affrica. Canaan, pedwerydd mab Ham, a lywodraethodd y wlad a elwir yn awr Judea, ac ai galwodd ar ei enw ei hun, Canaan. Plant y pedwar mab hyn ydoedd, Sabas, yr hwn a sefydlodd y Sabeaid; Evilas, yr hwn a sefydlodd yr Evileaid, a elwir yn awr Getuli; Sabathes, yr hwn a sefydlodd y Sabatheniaid, a elwir yn Groeg Astoborans; Sobactas, yr hwn a sefydlodd y Sabacteaid; a Ragmus, yr hwn a sefydlodd y Ragmeniaid. Y diweddaf hwn ydoedd ag iddo ddau fab, un o ba rai, Judadas a sefydlodd y Judadeaid, cenedl o'r Ethiopiaid gorllewinol, ac a adawodd ei enw arnynt; megis y darfu Sabas ar y Sabeaid. Eithr Nimrod mab Cus a arosodd ac a ormes-lywodraethodd ar Babilon, megis y daliasom sulw o'r blaen.

Yn awr holl feibion Mestraim y rhai oeddynt wyth mewn rhifedi, a etifeddasant y wlad o Gaza hyd yr Aipht, er na alwodd y cwbl ond ar un enw yn unig, sef, Philistim; a'r Groegiaid a alwasant ran o'r wlad honno Palestine. Am y rhai eraill, Ludieim, Enemim, a Labim, yr hwn yn unig a breswyliodd yn Libya, gan ei galw oddiwrth ei enw ei hun; Nedium, Phethrosim, Chesloim, a Cephthorim, ni's gwyddom ddim am danynt hwy ond eu henwau: canys y rhyfel Ethiopaidd,* yr hwn a adroddwn ani dano rhag llaw, ydoedd yr achos ddarfod i'r dinasoedd uchod gael eu dadymchwelyd.

Enwau meibion Canaan ydoedd y rhai hyn; Sidonius, yr hwn a adeiladodd ddinas ar yr un enw, ond a elwid gan y Groegiaid Sidon; Amathus a breswyliodd Amathine, pa un a elwir yn awr Amathe gan y trigolion, er darfod yn ol hynny i'r Macedoniaid ei henwi Epiphania, oddiwrth un o'i hiliogaeth; Arudeus a feddianodd yr ynys Aradeus; Arucus a feddianodd Arce, yr hon sydd yn Libanus. Ond am y saith eraill, Chetteus, Jebuseus, Ammorreus, Gergeseus, Eudeus, Sineus, a Samareus, nid oes gennym yn y llyfrau cyssegredig ond eu henwau; canys yr Hebreaid a ddadymchwelasant eu dinasoedd, a'u trallodion a'u goddiweddodd ar yr achos canlynol:

Pan, yn ol y diluw, y darfu i'r ddaear gael ei hail drefnu yn gyffelyb i'w chyflwr cyntaf, ymosododd Noah ynghylch ei llafurio a'i phlannu â gwinwydd; a phan addfedodd y ffrwythau, a chasglu o hono ef y grawnwin ynghyd yn eu tymmor, a bod y gwin yn barod i'w ddefnyddio, efe a aberthodd aberth ac a wleddodd; ac wedi yfed yn helaeth efe a syrthiodd i drymgwsg, ac a orweddodd yn noeth,† mewn modd anweddaidd. Wedi canfod hyn gan ei fab ieuangaf, efe gan chwerthin a'i dangosodd i'w frodyr, y rhai a orchuddiasant noethni eu tad; ac wedi i Noah ddyfod i ystyriaeth o'r hyn a wnaethid, efe a weddïodd dros lwyddiant ei feibion eraill; eithr am Ham nis melldithiodd ef, o herwydd ei agosrwydd mewn gwaedoliaeth, ond efe a felldithiodd ei hiliogaeth; a phan ddiangodd y gwe-

* Un sulw ni ddylai gael ei esgusodi yma ymherthynas i'r rhyfel Ethiopaidd, yr hwn a ddarfu i Moses, fel blaenor byddin yr Aipht, osod terfyn iddo, II. 10. ac ynghylch pa un y mae ysgrifenwyr diweddar yn dra esgeulus yn adrodd; sef, mai rhyfel ydoedd o'r fath ganlyniad a'i fod yn achos o symmudiad a dinystr chwech neu saith genhedlaeth o hiliogaeth Mesraim, ynghyd â'u dinasoedd; yr hyn ni fuasai Josephus yn ei grybwyll, pe na's meddai dystiolaethau yr hynafiaid am dano, er eu bod yn awr wedi eu cyfrgolli.

† Gen. ix. 21.

-ddill o honynt rhag effaith y felldith honno, Duw a'i gosododd ar hiliogaeth Canaan. Ond am hyn cawn grybwyll yn helaethach yn ol llaw.

Yr ydoedd i Sem, trydydd mab Noah, bump o feibion,* y rhai a breswyliasant y tir oedd â'i ddechreuad wrth Euphrates, ac yn cyrraedd hyd gefnfor yr India. Canys Elam a adawodd o'i ol yr Elamitiaid, henafiaid y Persiaid. Ashur a drigodd yn ninas Ninife, ac a alwodd ei ddeiliaid Assyriaid, y rhai a ddaethant yn genedl lwyddiannus tu hwnt i eraill. Arphacsad a roddodd enw i'r Arphacsiaid, a elwir yn awr Caldeaid. Aram oedd â chanddo'r Aramitiaid, y rhai a eilw'r Groegwyr Syriaid; a Lud a sefydlodd y Ludiaid, a elwir yn awr Ludianiaid. Am bedwar mab Aram, Us a sylfaenodd Traconitus a Damascus; y wlad yma sy'n gorwedd rhwng Palestine a Cœlesyria. Ul a sylfaenodd Armenia; a Gather y Bactriaid; a Mesa y Mesaniaid, a elwir yn awr Charax Spasina. Sala ydoedd fab Arphacsad: a'i fab ef ydoedd Heber, oddiwrth yr hwn yn ddechreuol y galwasant yr Iuddewon Hebreaid.† Heber a genhedlodd Joctan a Phaleg. Gelwid ef Phaleg oblegid ei eni‡ ar wasgariad y cenhedlaethau i'w hamrywiol wledydd, canys Phaleg ym mysg yr Hebreaid sydd yn arwyddo rhaniad. Yn awr Joctan, un o feibion Heber, ydoedd ag iddo y meibion hyn, Elmodad, Saleph, Asermoth, Jera, Adoram, Aizel, Decla, Ebal, Abimeal, Sabeus, Ophir, Euilar, a Jobab. Y rhai hyn a breswyliasant o Cophen, afon yn India, hyd ran o Asia mewn cyssylltiad â hi: dichon hyn foddloni am hanes meibion Sem.

Mi a draethaf yn awr am yr Hebreaid. I Phaleg, mab Heber, yr ydoedd mab a elwid Ragau, mab yr hwn ydoedd Serug, i ba un y ganwyd Nahor; ei fab ef ydoedd Terah, yr hwn oedd dad Abram, pa un yn ganlynol ydoedd y degfed o Noah,§ yr hwn a anwyd yn y flwyddyn dan cant a deuddeg a phedwar ugain ar ol y diluw: canys Terah a genhedlodd Abram yn ei ddegfed mlwydd a thrugain. Nahor a genhedlodd Haran pan oedd yn gant ac ugain mlwydd o oed: Nahor a anwyd i Serug yn ei ganfed a deuddeg mlwydd a'r hugain; Ragau a Serug a anwyd hefyd pan oedd efe yn gant a deg a'r hugain; yr un oedran hefyd oedd Phaleg pan y cafodd Ragau; Heber a genhedlodd Phaleg yn ei ganfed a'i bedair mlwydd ar ddeg a'r hugain o oedran; yr hwn ei hun a genhedlwyd gan Sala pan ydoedd yn gant a deng mlwydd a'r hugain; yr hwn a gafodd Arphacsad yn fab iddo pan ydoedd yn gant a phymtheg mlwydd a'r hugain o oedran. Arphacsad oedd fab Sem, ac a anwyd yn y ddeuddegfed flwyddyn ar ol y diluw. Yn awr i Abram yr ydoedd dau o frodyr, Nahor a Haran; o honynt, sef Haran, y gadawyd mab a'i enw Lot; hefyd Sarai a Milca, ei ferched; bu ef farw ym mhlith y Caldeaid mewn dinas a elwid Ur; a'i feddfaen a adwaenir yno hyd y dydd hwn. Y rhai hyn a briodasant eu nithoedd; Nahor a briododd Milca, ac Abram a briododd Sarai. Yn awr Terah, gan gasbau Caldea, trwy ei alar am ei frawd Haran, hwynt-hwy oll a symmudasant i Haran ym Mesopotamia; lle hefyd y bu farw ‖ Terah, ac y claddwyd ef, wedi byw o hono ddau cant a phump o flynyddau; canys hŷd bywydau dynion oedd eisoes, yn raddol, yn lleihau, ac yn dyfod yn fyrrach hyd ddyddiau ¶Moses; ar ol amser pa un yr ydoedd wedi ei drefnu i fod yn ugain mlwydd a chant, gan ddarfod i Dduw benderfynu ei osod yn ol hŷd ei ddyddiau ef. Yr awr yr ydoedd i Nahor wyth o feibion o Milca; sef, Uz, Buz, Kemuel, Chesed, Azau, Pheldas, Jadelph, a Bethuel; y rhai hyn oll oeddynt wir feibion i Nahor; canys Teba, a Gaam, a Tachas, a Maaca, a anwyd o Reuma ei ordderch-wraig; ond i Bethuel yr ydoedd merch a'i heuw Rebecca, a mab a elwid Laban.

* Gen. x. 21.

† Mae Josephus yn barnu yn gywir pan ddywed mai oddiwrth Heber y galwyd yr Iuddewon gyntaf yn Hebreaid, ac nid oddiwrth Abram yr Hebread, neu ymdeithydd dros Euphrates, fel y mae rhai yn haern. Sem hefyd a elwir yn dad i holl blant Heber, neu yr holl Hebreaid, mewn hanesiad llawer hŷn na'r amser yr aeth Abram dros Euphrates. Gen. x. 21.

‡ Os cafodd Phaleg ei gyfenwi felly o'i febyd, fel yr iawn-dystia Josephus, mae 'n amlwg mai nid yr Hebraeg byrr neu'r cronicl Masoreaidd oedd cronicl Josephus, yn ol pa rai ni ddigwyddodd cymmysgiad yr ieithoedd a gwasgariad y cenhedlaethau yn ddiweddarach na 100 o flwyddi yn ol y diluw, yr hyn sy 'n amhosibl; ac mae 'n ymddangos yn llawer cynnarach nag y gallai y fath gymmysgedd a gwasgariad gymmeryd lle, yr hyn, yn ol y cronicl neu'r amseryddiaeth cywiraf, ni fu yn gynt na 300 mlwydd yn ddiweddarach, sef, o amgylch 400 mlwydd yn ol y diluw.

§ Am hynny yr ail Cainan ydoedd ffugiol; gwel sulw-nod Bernard.

‖ Bl. 1962.

¶ Bl. 1612.

## PENNOD VII.

***Am symmudiad Abram o wlad y Caldeaid, i'r tir a elwid y pryd hynny Canaan, ond yn awr Judea.***

AC Abram heb feibion ganddo ei hun, efe a fabwysiadodd Lot, mab Haran ei frawd, yr hwn ydoedd hefyd frawd i Sarai ei wraig: efe a ymadawodd a thir Caldea pan ydoedd yn bymtheg mlwydd a thrugain o oedran; ac wrth orchymmyn Duw a aeth i wlad Canaan,* lle y preswyliodd efe ei hun, ac a'i gadawodd o'i ol i'w hiliogaeth. Efe oedd ŵr o synwyroldeb mawr i fedru deall pob rhyw beth, yn ynnill ei wrandawyr, ac heb fod yn gamsyniol yn ei farnau; o achos paham efe a ddechreuodd feddiannu meddyliau uwch am rinwedd nag ydoedd gan eraill; ac efe a fwriadodd ddiwygio a chyfnewid y syniadau oedd gan ddynion am Dduw y pryd hynny: canys efe oedd y cyntaf a anturiodd osod yn gyhoeddus y farn ganlynol; sef, nad ydoedd ond un Duw, Creawdwr yr holl fyd: ac ymherthynas i dduwiau eraill, os oeddynt yn gweinyddu tu ag at hapusrwydd dynion, fod pob un yn ei gyfrannu yn ol ei archiad ef, ac nid trwy eu gallu eu hunain. Y gred yma a gymmerodd le oddiwrth ymddangosiad dieithr yn yr wybr, pa un ydoedd weledig ar dir a môr, yn gystal a'r hyn a ddigwyddai i'r haul a'r lleuad, a'r holl gyrph wybrennol, megis y canlyn: "Pe byddai" eb efe, "gan y cyrph nefolaidd hyn lywodraeth arnynt eu hunain, hwy a ofalant gadw at rëolaeth eu symmudiadau; ond gan nad ydynt yn cadw y fath reolaeth neu awdurdod, maent yn eglur ddangos mai mor bell ag y maent yn gweithredu er ein lles ni, y maent yn eu wneuthur trwy eu cadernid fel ag y maent yn gwasanaethu i gyflawni gorchymmyn eu goruwch-reolwr, i'r hwn yn unig y mae yn ddyledus i ni roddi 'r anrhydedd a'r diolchgarwch." Am yr hon athrawiaeth, wedi i'r Caldeaid a phobl eraill Mesopotamia gyfodi terfysg yn ei erbyn, efe a farnodd yn gymmwys ymadael a'r wlad honno, ac wrth orchymmyn a thrwy gymmorth Duw, efe a ddaeth ac a breswyliodd yn nhir Canaan.† Ac wedi sefydlu yno, efe a adeiladodd allor, ac a wnaeth aberthiad i Dduw.

Berosus a grybwyll am ein tad Abram heb ei enwi ef, pan ddywed, "yn y ddegfed genhedlaeth ar ol y diluw, yr ydoedd ym mhlith y Caldeaid ŵr cyfiawn ac enwog, a chyfarwydd yn y gelfyddyd wybrennol." Ond y mae Hecateus yn gwneuthur ychwaneg na chrybwylliad noeth o hono; canys efe a gyfansoddodd ac a adawodd ar ei ol lyfr yn traethu am dano ef. A Nicolaus o Damascus, yn y pedwerydd llyfr o'i hanesyddiaeth, a ddywed, "Abram a deyrnasodd yn Damascus; yr hwn ydoedd wr dieithr, efe a ddaeth a llu gyd ag ef o'r tir uwchlaw Babilon, a elwir gwlad y Caldeaid. Ond yn ol hir amser efe a symmudodd hefyd o'r wlad honno, gyd â'i bobl, ac a aeth i mewn i'r tir a elwid y pryd hynny gwlad Canaan, ond yn awr Judea; a hyn pan dyfodd ei hiliogaeth yn lliosog: ymherthynas i ba hiliogaeth o'r eiddo ef ni a adroddwn eu hanes mewn gwaith arall. Yn awr y mae enw Abram etto yn glodfawr yn Damascus; ac y mae maesdref yno i'w gweled ar ei enw ef, Cyfanneddle Abram."

## PENNOD VIII.

*Am ymadawiad Abram i'r Aipht o herwydd newyn; a'i ddychweliad yn ol hynny.*

YN awr ar ol hyn, pan oresgynnwyd gwlad Canaan gan newyn, ac amlygu i Abram fod yr Aiphtiaid mewn cyflwr blodeuog, efe a duedd-wyd i fyned i wared attynt hwy; i'r diben i gyfrannogi o'u helaethrwydd, a chael gwybod eu daliadau hwy ymherthynas i'r duwiau: gan fwriadu un ai eu dilyn hwynt, os ydoedd eu tŷb yn well na 'r eiddo ei hun; neu eu dychwelyd at well trefn, os ei ddaliadau ef a fernid yn gywiraf. Yn awr fel ag yr oedd i gymmeryd Sarai gyd ag ef, a chan ofni gwallgofrwydd yr Aiphtiaid ymherthynas i fenywaid, a rhag ei ladd gan y brenin o achos tegwch pryd rhagorol ei wraig, efe a ddychymmygodd y ddyfais ganlynol: Efe a gymmerodd mai ei brawd ydoedd, ac a'i

* Gen. xii. 1.

† Gen. xii. 5.

cyfarwyddodd hi mewn dull ffuantus i fynegi yr un geiriau: canys dywedodd, y byddai hynny er budd iddynt. Yn awr cyn gynted ag y daethant i'r Aipht, fe ddigwyddodd i Abram megis y dychymmygasai. Canys rhagorol degwch ei wraig ydoedd a sôn mawr am dano; o herwydd pa ham ni foddhawyd Pharaoh brenin yr Aipht â'r chwedl am dani, ond rhaid ydoedd iddo ei chanfod ei hun. Ond fe roddodd Duw attalfa ar ei dueddiadau anghyfiawn, trwy anfon afiechyd arno, a therfysgrwydd yn erbyn ei lywodraeth. Ac wedi ymofyn â'i offeiriaid am y modd i'w ryddhau oddiwrth y trallodion hyn, dywedasant wrtho, fod ei amgylchiad gofidus yn deilliaw oddiwrth anfoddlonrwydd Duw, ar gyfrif ei dueddgarwch i ammherchi gwraig y dieithr-ddyn oedd gyd â hwynt. Yna o herwydd ei ddychryn, efe a ofynodd i Sarai, Pwy ydoedd hi, a phwy oedd yr hwn a ddygasai gyd â hi? Ac wedi amlygu iddo y gwir, efe a esgusododd ei hun wrth Abram, mai trwy ddychymmygu am ei wraig mai ei chwaer ydoedd, ac nid ei briod ef, iddo osod ei serch arni, megis ag ewyllys i ymgyfathrachu ag ef trwy ei phriodi, ac na chynnyrfiasid mo hono gan chwant i'w halogi. Efe hefyd a'i hanrhegodd ef â swm mawr o arian; ac a roddodd genuad iddo i fyned i gyd-ymddiddan â'r rhai mwyaf dysgedig ym mhlith yr Aiphtiaid. Oddiwrth ba ymddiddan, ei rinwedd a'i barch a aeth yn fwy hynodfawr nag a fuasai o'r blaen.

Canys megis yr oedd yr Aiphtiaid mewn amserau gynt ynglŷn wrth amryw ddefodau, a'r naill yn dirmygu seremoniau y llall, ac yn cynfigennu wrth eu gilydd o herwydd hynny; Abram a ymddiddanodd â phob un, a chan wrthbrofi y rhesymmau a wnaent dros eu gwahanol ymarferiadau, efe a ddangosodd yn eglur fod y fath resymmau yn ofer, ac â diffyg gwirionedd ynddynt. Ar yr hyn y darfu iddynt ei ryfeddu trwy 'r ymddiddanion uchod, fel un tra doeth ac o fawr gallineb, pan ymresymmai ar ryw fatter a gymmerid yn llaw; a hynny nid yn unig trwy ei ddeall ei hun, ond perswadio eraill hefyd i roddi cydsyniad iddo. Efe a gyfrannogodd iddynt y gelfyddyd o rifyddiaeth, ac a'u cyfarwyddodd i ddeall astronomyddiaeth. Canys cyn dyfodiad Abram i'r Aipht yr oeddynt yn anhysbys o ryw rannau o ddysgeidiaeth; canys y gelfyddyd o astronomyddiaeth a ddaeth oddiwrth y Caldeaid i'r Aipht, ac oddiyno i'r Groegiaid hefyd.

Cyn gynted ag y dychwelodd Abram i Canaan, efe a rannodd y tir rhyngddo a Lot, o herwydd ymddygiadau terfysglyd eu bugeiliaid,* ymherthynas i'r porfeydd yr oedd eu hanifeiliaid yn porfâu ynddynt. Pa fodd bynnag efe a adawodd ei ddewisiad i Lot, gan ganiattâu iddo gymmeryd meddiant o'r tiroedd a chwennychai, a chymmeryd iddo ei hun yr hyn a adewid gan y llall; yr hyn ydoedd y tiroedd isaf wrth odre 'r mynyddoedd: ac efe ei hun a breswyliodd yn Hebron, yr hon ddinas a adeiladasid saith mlynedd o flaen Tanis yn yr Aipht.† Eithr Lot a etifeddodd dir y gwastadedd a'r Iorddonen, ar derfynau teyrnas Sodom: pa un y pryd hynny ydoedd ddinas harddwych, ond yn awr wedi ei difetha trwy ewyllys a digofaint Duw, megis ei dangosir yn ei briodol le yn ol hyn.

## PENNOD IX.

*Am ddinystr y Sodomiaid trwy ryfel â'r Assyriaid.*

AR yr amser hyn, pan ydoedd yr Assyriaid yn llywodraethu tros Asia, yr oedd trigolion Sodom mewn cyflwr blodeuog, ymherthynas i'w cyfoeth a nifer eu hieuengctyd. Yr ydoedd pum brenin yn blaenori yn achosion y wlad hon; Balas, Barsas, Senabir, a Sumobor, gyd â brenin Bela; A phob un o'r brenhinoedd a arweinient eu lluoedd eu hun. A'r Assyriaid a wnaethant ryfel arnynt, a chan ddosparthu eu byddin yn bedair rhan, a ymladdasant i'w herbyn. Yn awr pob rhan o'r fyddin ydoedd a'i blaenor ei hun, a phan ymgyssylltodd y frwydr, yr Assyriaid a fuddugoliaethasant, ac a osodasant deyrnged ar frenhinoedd y Sodomiaid, y rhai a ymostyngasant i'r caethiwed hwn ddeuddeg mlynedd; a chyhyd a hynny hwy a barhausant i dalu teyrnged iddynt; ond ar y dry-

* Gen. xiii. 7.

† Num. xiii. 22.

dedd flwyddyn a'r ddeg hwy a wrthryfelasant; a llu yr Assyriaid a ddaeth ar eu gwarthaf hwynt, dan eu blaenoriaid Amraphel, Arioch, Cedorlaomer, a Tidal.* Y brenhinoedd hyn a ddifrodasant holl Syria, ac a orchfygasant genedl y cawri. Ac wedi dyfod drosodd yn erbyn Sodom, hwy a wersyllasant yn y dyffryn a elwid Sidim, lle ag ydoedd lawn o byllau clai y pryd hwnnw; ond ar ddinystr dinas Sodom, y dyffryn hwnnw a ddaeth yn llynn neu bwll Asphaltites, fel ag y gelwid ef: pa fodd bynnag ymherthynas i'r llynn yma, ni a adroddwn ychwaneg rhagllaw. Yn awr wedi i'r Sodomiaid gyssylltu ymladdfa â'r Assyriaid, a bod y frwydr yn dra chaled, llawer o honynt a syrthiasant, ac eraill a gymmerwyd yn gaethion; ym mysg pa rai yr ydoedd Lot, yr hwn a ddaethai i gynnorthwyo y Sodomiaid.

## PENNOD X.

*Am lwyddiant Abram yn gorddiwes byddin yr Assyriaid, ac yn gwaredu y carcharorion Sodomaidd.*

PAN glybu Abram am eu cyfyngdra hwynt, yr ydoedd ar unwaith yn ofni am Lot ei berthynas, ac yn tosturio wrth y Sodomiaid ei gyfeillion a'i gymmydogion: a chan ei ystyried yn angenrheidiol eu cynnorthwyo, ni oedodd wneuthur hynny, ond a gychwynodd gydâ brŷs, ac ar y bummed nos efe a oddiweddodd yr Assyriaid yn agos i Dan, ar gyffiniau 'r Iorddonen; a chyn iddynt allu ymarfogi hwy a darawyd yn eu gwelyau; ac eraill nad aethent i gysgu, ond oeddynt wedi yfed i ormodedd fel na allent ymladd, a ffoisant ymaith. Abram a ymlidiodd ar eu hol hwynt nes, yr ail ddydd, eu herlid yn fintai i Hoba,† lle ag ydoedd yn perthynu i Damascus; a thrwy hynny a ddangosodd nad yw buddugoliaeth yn ymddibynnu ar amlder lluoedd, ond bod dewrder a chefnogrwydd milwyr yn fynych yn llwyddo i ddarostwng corph lliosog o ddynion; pryd yr ennillodd efe y fuddugoliaeth ar fyddin mor fawr, yn unig gydâ thri chant a deunaw o'i weision, a thri o'i gyfeillion. Felly cynnifer ag a ddiangasant a ddychwelasant adref yn waradwyddus. Ac wedi i Abram achub y Sodomiaid caethiwus, a gymmerasid gan yr Assyriaid, gyd â Lot ei garennydd, a ddychwelodd adref mewn heddwch.

Yn awr brenin Sodom a'i cyfarfu mewn lle a elwid glynn y brenhin, ym mha le hefyd y derbyniodd Melchisedec, brenhin Salem, ef. Ystyr yr enw hwnnw yw, brenhin cyfiawnder: a'r cyfryw ydoedd efe yn dïau, yn gymmaint a'i wneuthur, er ei fwyn ef, yn offeiriad i Dduw. Pa fodd bynnag, galwyd Salem yn ol hynny Jerusalem. Yn awr y Melchisedec hwn a ddiwallodd fyddin Abram mewn modd haelionus, gan gyfrannu lluniaeth iddynt yn ddigonol: ac fel yr oeddynt yn gwledda, efe a ddechreuodd ei ganmawl ef, a bendithio Duw am ddarostwng ei elynion dano ef. Ond pan roddodd Abram y degfed ran o'r yspail iddo ef, efe a wnaeth dderbyniad o'i rodd. Ond brenhin Sodom a ddymunasai ar Abram gymmeryd yr yspail, ac a ddeisyfodd edfryd iddo ef y dynion a achubasai Abram o ddwylaw yr Assyriaid, am eu bod yn perthynu iddo. Ond ni chydsyniodd Abram ag ef, ac ni fynnai fanteisio ychwaneg oddiwrth yr yspail nâ'r hyn a gawsai ei weision o luniaeth; eithr efe a archodd fod i'w gymdeithion a gydymdrechasai ag ef yn y frwydr, gyfrannogi o'r hyn a gymmerasai oddi ar y gelynion. Y cyntaf o honynt ydoedd Escol, â'r ddau eraill Enner a Mambre.

Fe ddarfu i Dduw ganmawl ei rinwedd gan ddywedyd, "Ni chei, pa fodd bynnag, golli y gwobrwyau ag oedd haeddiannol i ti oddiwrth y fath weithredoedd clodfawr. Attebodd yntau, "A pha fantais fydd i mi oddiwrth y fath wobrwyon, pan na feddaf neb i'w mwynhâu ar fy ol?" Canys yr ydoedd efe hyd yn hyn yn ammhlantadwy. A Duw a addawodd y byddai fab iddo ef, ac y byddai ei hiliogaeth yn lliosog iawn, yn gymmaint ag y byddai eu rhifedi megis sêr y nefoedd. Pan glybu yntau hynny, efe a offrymmodd aberth i Dduw, megis y gorchymmynasid iddo. Dull yr aberthiad ydoedd fel

*Gen. xiv. 1.

†Gen. xiv. 15.

hyn.* Efe a gymmerodd anner dair blwydd, a gafr dair blwydd, a hwrdd tair blwydd hefyd, ynghyd a thurtur a cholommen; ac fel y cyfarwyddasid ef, efe a rannodd y tri cyntaf, ond yr adar ni 's rhannodd efe. Yn ol hyn, cyn adeiladu ei allor, lle'r oedd adar ysglyfaethus yn ehedfan o amgylch yn chennych cyfrannogi o'r gwaed, fe ddaeth llais dwyfol atto, gan ddatgan ymherthynas i'w hiliogaeth; pan elent i'r Aipht, y byddai i'w cymmydogion yno ymddwyn yn orthrymmus tu ag attynt dros bedwar cant o flynyddau:† tros ba amser y cystuddid hwynt; ac y caent yn ol hynny oruchafiaeth ar eu gelynion; y buddugoliaethent ar y Canaaneaid mewn rhyfel, ac yr etifeddent eu gwlad a'u dinasoedd.

Abram ydoedd yn awr yn preswylio wrth un o'r derw-goed a elwid Ogyges; lle ag oedd yn perthynu i wlad Canaan, heb fod yn neppell oddiwrth ddinas Hebron. Ond trwy anesmwythdra meddwl oblegid anffrwythlondeb ei wraig, efe a ymbiliodd â Duw am ganiattâu o hono fab iddo ef; ac wedi ei annog gan Dduw i fod yn gyssurus, efe a addawodd chwanegu at yr holl ddaioni a wnaethai iddo er pan ddaethai o Mesopotamia, y ddawn o etifeddu plant. Yn ganlynol, Sarai, wrth orchymmyn Duw, a ddug i mewn un o'i llaw-forwynion, Aiphtes o genedl, i'r diben i ymddwyn plant i Abram; ac wedi beichiogi o'r llaw-forwyn hon, hi a anturiodd ymlawenhau a dangos diystyrwch tu ag at Sarai, megis yn golygu y byddai i'r llywodraeth gael ei rhoddi i'r etifedd a enid o honi hi. Ond wedi i Abram ei rhoddi yn nwylaw Sarai i wneud cospedigaeth arni, hi a ddyfeisiodd ffoi ymaith o'i gwydd, am na allai oddef triniaeth chwerw gan Sarai; gan ddeisyfu ar Dduw i dosturio wrthi. Yn awr angel o'r nefoedd a gyfarfu â hi, fel ag yr oedd yn ymdaith yn yr anialwch, gan ei chynghori i ddychwelyd at ei meistr a'i meistres; ac os ymostyngai i'r cyngor doeth hwnnw y byddai ei bywyd rhagllaw yn ddedwyddach; canys yr achos o'i bod yn y fath gyflwr truenus yn bresennol, ydoedd ei thrahausdra a'i hanymostyngiad i'w meistres. Dywedodd hefyd wrthi, os anufuddhâi i Dduw, a myned rhagddi yn ei ffordd, y darfyddai am dani: ond os dychwelai yn ol, y byddai yn fam i fab a deyrnasai ar y wlad honno. Yr annogaethau hyn a ufuddhaodd iddynt, ac a ddychwelodd at ei meistr a'i meistres, gan y rhai y derbyniodd faddeuant. Ym mhen ychydig ar ol hynny yr esgorodd ar Ismael,‡ yr hwn a ellir ei ddeongl—Duw a wrandawodd; oblegid gwrando o Dduw ar weddi ei fam ef.

Y mab hwn a anwyd i Abram pan oedd efe yn bedwar ugain mlwydd a chwech o oedran.§ Ond pan ydoedd bedwar ugain a phedair mlwydd ar bymtheg, ymddangosodd Duw iddo, ac a addawodd y byddai iddo fab o Sarai, gan orchymmyn ei alw ef Isaac: amlygwyd iddo mai oddiwrth y mab hwn y tarddai cenhedloedd mawrion a brenhinoedd; ac yr ynnillent dir Canaan drwy ryfel, o Sidon hyd yr Aipht. Ond efe a orchymmynodd, i'r diben i gadw ei hiliogaeth yn ddigymmysg âg eraill, enwaedu arnynt yr wythfed dydd ar ol eu geni hwynt. Y rheswm am ba enwaediad a fydd i mi ei egluro mewn lle arall. Ac Abram hefyd yn ymofyn am Ismael, a fyddai efe byw ai na byddai; Duw a arwyddodd iddo y byddai byw i oedran henaint, ac yn dad cenhedlaethau mawrion. Abram gan hynny a ddiolchodd i Dduw am y bendithion hyn; ac yna efe, a'i fab Ismael, ynghyd a'i deulu oll a enwaedwyd arnynt yn ddioed; a'i fab ydoedd y dydd hwnnw yn dair mlwydd ar ddeg, ac Abram yn bedwar ugain a phedair mlwydd ar bymtheg o oedran.

## PENNOD XI.

*Am ddinystr y genedl Sodomaidd, ar gyfrif eu pechodau.*

YNGHYLCH yr amser hwn y Sodomiaid a dyfasant yn feilchion o herwydd eu cyfoeth a'u

* Mae 'n deilwng o sulw, na ofynnodd Duw aberthau eraill dan gyfraith Moses nâ 'r hyn a gymmerid oddiwrth y pum rhywogaeth uchod o gread..riaid, a orchymmynasai Duw i Abram. Ac ni arferai 'r Iuddewon ymborthi ar greaduriaid cartrefol eraill, namyn y tri a enwir uchod, fel y mae Reland yn sylwi ar Hynaf. IV. 4.

† Ymherthynas i gystuddiau hiliogaeth Abram dros bedwar can mlynedd, gwel llyfr II. pen. 9.

‡ Bl. 1956.

§ Gen. xvi. 16.

llawnder mawr: aethant yn anghyfiawn at ddynion, ac yn anrasol tu ag at Dduw; yn gymmaint ag na's galwasant i gôf y manteision a dderbyniasent ganddo: yr oeddynt yn cashau dieithriaid, ac yn eu hamherchi eu hunain ag ymarferion anfoesol. Duw gan hynny ydoedd ag anfoddlonrwydd mawr tu ag attynt, ac a fwriadodd, megis yn gospedigaeth am eu balchder, i ddadymchwelyd eu dinas, a gosod eu gwlad yn anghyfannedd, fel na thyfai planhigyn na ffrwyth mwyach allan o honi.

Pan fwriadodd Duw y modd hwn ymherthynas i'r Sodomiaid, Abraham, ac efe yn eistedd dan dderwen yn Mambre, wrth ddrws ei babell, a ganfu dri angel;* a chan feddwl mai dieithriaid oeddynt, efe a gyfododd ac a'u cyfarchodd hwynt, ac a'u gwahoddodd i gymmeryd lluniaeth, ac aros ychydig gyd ag ef: i'r hyn pan gyd-syniasant, efe a orchymmynodd wneuthur teisennau o flawd peilliad, a lladd llo, yr hwn a rostiwyd ac a ddygwyd i'r dieithriaid, a hwy yn eistedd dan dderwen. Yn awr hwy a ymddangosasant fel rhai yn ymborthi; ac heblaw hynny hwy a ymofynasant am Sarah ei wraig, pa le yr ydoedd; a phan attebodd ei bod o fewn y babell, dywedasant y dychwelent atto yn ol hyn, ac y canfyddent hi wedi dyfod yn fam. A Sarah yn clust-ymwrando y geiriau hyn a chwarddodd, gan ddywedyd mai amhossibl ydoedd iddi ymddwyn plant o herwydd ei bod yn awr yn ddeng mlwydd a phedwar ugain, a'i gwr yn gan mlwydd o oedran. Yn awr ni chelasant eu hunain mwy, ond a dystiasant mai angylion Duw oeddynt; a darfod anfon un o honynt i'w gwneud yn hyspys o feddiannu etifedd, a'r ddau eraill i ddadymchwelyd Sodom.

Pan glybu Abraham hyn, efe a ofidiodd dros y Sodomiaid; ac a safodd i eiriol ger bron Duw drostynt, gan ddeisyf na ddifethai efe y cyfiawn gyd â'r drygionus. Ac wedi amlygu iddo gan Dduw nad oedd rhai cyfiawn ymmysg y Sodomiaid; canys pe byddai ond deg o'r cyfryw ddynion yn eu mysg hwynt, na chospai eraill er eu mwyn; yna Abraham a dawodd â sôn. A'r angylion a ddaethant i ddinas y Sodomiaid; ac wedi eu canfod gan Lot, efe a ymbiliodd ar iddynt lettŷa gyd ag ef; † canys yr ydoedd ef yn ŵr tra haelionus a chroesawgar, ac un a ddysgasai ddilyn daionus weithredoedd Abraham. Yn awr pan ganfu y Sodomiaid y gwŷr ieuaingc hyn o wedd mor hawddgar, a hynny i radd odiaethol, a darfod iddynt wneud eu lletty i fynu gyd â Lot, hwy a benderfynasant berchennogi y gwŷr ieuangc hawddgar hyn trwy ortherch; ac wedi i Lot eu hannog hwy i sobrwydd, ac na chynnygient amharch i'r dieithriaid, na dirmyg ar eu gorphwysiad yn ei dŷ ef; gan addaw os na allent lywodraethu eu nwydau, y rhoddai ei ferched iddynt i wneud â hwynt fel yr ewyllysient; ni allodd hyn ychwaith eu perswadio na 'u cywilyddio hwynt.

Ond Duw a anfoddlonodd yn fawr wrth eu hymddygiad rhyfygus ac anweddaidd, fel ag y tarawodd y dynion hyn â dallineb, ‡ ac y rhoddodd y Sodomiaid i fynu i ddinystr cyffredinol. Ond Lot wedi ei rag-rybuddio gan Dduw am y dinystr hwn, a ymadawodd ymaith, gan gymmeryd gyd âg ef ei wraig a'i ddwy ferch, y rhai etto oeddynt forwynion; canys y rhai a ddyweddiasid § iddynt oeddynt o uwch meddyliau na myned allan o'r ddinas, ac a gyfrifent eiriau Lot megis cellwair.

Yna Duw a ergydiodd fellt o'r nefoedd, y rhai a osodasant y ddinas ar dân, ac a losgodd ei thrigolion, ac a ddifäodd y wlad o amgylch â'r cyffelyb losgfeydd ag a adroddais gynt yn Hanesyddiaeth y rhyfel Iuddewig. ‖ Ond gwraig Lot, a hi yn edrych yn barhaus drach ei chefn i weled y ddinas, fel yr oedd yn diangc oddiwrthi, a chan ofidio yn ormodol beth a ddeuai o honi, er ei gwahardd gan Dduw i wneuthur felly, yn ganlynol hi a dröwyd yn golofn ¶ halen; canys mi a'i gwelais fy hun, ac

* Gen. xviii. 2. † Gen. xix. 2. ‡ Gen. xix. 11.

§ Y dawon hyn i Lot, fel y gelwir hwynt, Gen. xix. 14. a ellid eu cyfenwi felly o herwydd eu dyweddio i ferched Lot, er, megis etto na phriodasid hwynt. Gwel y nodiad ar XIV. 13.

‖ Rhyfeloedd yr Iuddewon, IV. 8.

¶ Gwelwn yma fod y golofn halen yn sefyll i fynu yn amser Josephus, a'i gweled ganddo ef. Ei bod yn weledig y pryd hynny a dystir hefyd gan Clement o Rufain, cyd-oeswr â Josephus; fel ag yr oedd hefyd yn sefyll yn y ganrif nesaf, yn ol tystiolaeth Irenius, gyd â'r achosion tebygol o'i pharhad dros gynnifer o oesoedd, a phob aelod perthynol iddi.

mae 'n aros hyd heddyw. Yn awr efe a'i ddwy ferch a ffoisant i le bychan a amgylchynid gan y tân, ac a arosasant yno. Gelwir hi hyd y dydd hwn Soar, canys dyna y gair a arfera yr Hebreaid am beth bychan. Yno y bu efe byw yn anghyssurus o ddiffyg cymdeithas, a thrwy eisiau lluniaeth beunyddiol.

Ond ei ferched gan dybied ddifetha holl ddynolryw, a ymwasgasant* â'u tad, etto trwy ofalu na fyddai iddo ef eu hamgyffred hwynt. Hyn a wnaethant, yn ol eu hamcan hwy, fel na phallai yr hiliogaeth ddynol yn gyfan-gwbl: a hwy a esgorasant ar feibion: enw mab yr hynaf ydoedd Moab, yr hyn sydd yn arwyddoccâu un yn deilliaw oddiwrth ei dad: yr ieuangaf a esgorodd ar Ammon, yr hwn sydd yn arwyddo un a darddodd o'i garennydd. Y cyntaf ydoedd dad y Moabiaid, y rhai ydynt hyd heddyw yn genedl fawr; y diweddaf ydoedd dad yr Ammoniaid; a'r naill gyd â'r llall o honynt ydynt breswylwyr Cœlesyria. Ac yn y modd hyn y bu ymadawiad Lot o blith y Sodomiaid.

## PENNOD XII.

*Am ymddygiad Abimelech tu ag at Abraham;—am Ismael mab Abraham—a'r Arabiaid, ei hiliogaeth ef.*

ABRAHAM yn awr a symmudodd i Gerar yn Palestine, gan ddwyn Sarah gyd ag ef dan yr enw chwaer, ac arferyd yr un ffuantrwydd ag a arferasai o'r blaen; canys yr ydoedd yn arswydo Abimelech, brenin y wlad honno, yr hwn yn weithredol a syrthiodd mewn serch tu ag at Sarah, ac oedd yn tueddu i'w halogi hi, eithr efe a attaliwyd rhag cyflawni ei ddymuniadau trwy haint beryglus a ddanfonwyd arno oddiwrth Dduw. Yn awr wedi i'w feddygon anobeithio ei wellhau ef, efe a syrthiodd i drymgwsg, ac a rybuddiwyd mewn breuddwyd i ymogelyd gwneuthur niweid i wraig y dieithrddyn a ddaethai i ymdaith yn ei wlad ef; a phan adferwyd ef, dywedodd i'w gyfeillion i Dduw anfon yr afiechyd hwnnw arno er cerydd am niweidio y gwr dieithrol, ac i'r diben i ymddiffyn diweirdeb ei wraig ef: oblegid nad ydoedd hi yn cyd-ymdaith âg ef fel ei chwaer, ond megis ei wraig gyfreithlon; a bod Duw yn addaw trugarhau wrtho rhagllaw, ond iddo roddi sicrwydd i'r cyfryw un am ddiweirdeb ei wraig. Wedi cyffesu o hono fel hyn, trwy annogaeth ei gyfeillion efe a anfonodd am Abraham, ac a ddywedodd nad amheuai am ddiogelwch ei wraig, gan fod Duw yn gofalu am dano, ac mai trwy ei ragluniaeth ef yr ydoedd i gael mwynhau ei wraig drachefn heb un math o amharch iddi; a'i fod ef yn appelio at Dduw, a chydwybod ei wraig, nad oedd duedd ganddo ar y cyntaf i'w meddu hi, pe gwybuasai mai ei briod ef ydoedd; "Ond," eb efe, "gan gyd-ymdaith o honi hi â thi yn enw chwaer, nid oeddwn yn euog o un trosedd." Efe hefyd a ddeisyfodd gael bod mewn heddwch âg ef, gan erchi iddo wneuthur Duw yn ffafrol iddo; ac os ewyllysiai aros gyd ag ef, y cai fwynhau yr hyn a fyddai yn ddiffyg arno i helaethrwydd; neu os ydoedd yn dewis myned ymaith, y cyfarwyddid ef yn ei ffordd mewn dull anrhydeddus. Wedi llefaru o hono fel hyn, Abraham a ddywedodd wrtho, nad oedd ei waith yn honni carennydd i'w wraig yn anwireddus, o herwydd mai merch ei frawd ydoedd, ac nad oedd yn canfod diogelwch iddo ei hun yn ei ymdaith mewn gwledydd dieithr, heb arfer y fath hyn o ffuantrwydd; nad efe a barodd yr anhwyldeb a ddaethai arno, ond ei fod yn unig yn gofalu am ei hunan-ddiogelwch. Dywedodd hefyd ei fod yn ewyllysgar i aros gyd ag ef: ar hyn Abimelech a bennododd iddo dir ac arian; a hwy a ymgyfammodasant i gyd-wladychu yn ddiddichell, ac heb anffyddlondeb y naill i'r llall; ac ar hynny y tyngasant wrth eu gilydd,

---

Pa un a ydyw'r hanes a rydd rhai trafaelwyr diweddar am dani yn wir, sef, ei bod yn sefyll hyd yn bresennol, nid wyf yn ei wybod. Fi sefyllfa bellennig, yng nghwrr eithaf y tu deheuol i fôr Sodom, yn anialwch gwyllt a pheryglus Arabia, sydd yn ei wneuthur yn dra anhawdd i drafaelwyr ymofyngar chwilio y lle allan; ac am chwedlau cyffredin pobl wledig yn y fath belldra, ni roddant fawr o foddlonrwydd.

*Nid wyf yn deall fod amcanion drygionus gan ferched Lot, mewn amgylchiad ag oedd yn ymddangos iddynt hwy yn anocheladwy. Y mae ymlosgach yn sier yn fai echrydus; ond pa un a ydoedd felly yn y fath sefyllfa o angenrheidrwydd ag y dychymmygodd y chwiorydd hyn fod yr eiddynt hwy, yn ol barn Josephus, nid wyf yn gallu penderfynu. Yn y cyfamser, eu gwaith yn meddwi eu tad, ac yn ymdrechu i gadw'r hyn a wnaethid yn guddiedig rhagddo, oedd yn arwyddo eu hanobaith i allu ei berswadio ef i'r cyfryw weithred, pa un ar y goreu, ni allasai amgen na bod yn wrthun ac yn ffiaidd yngolwg dyn mor dda.

ger llaw ffynnon a elwid Beerseba,* yr hyn o'i ddeongl yw, Ffynnon y llw; ac felly ei gelwir gan drigolion y wlad honno hyd y dydd hwn.

Yn awr mewn ychydig amser yn ol hyn y bu i Abraham † fab o Sarah, megis y rhagddywedasai Duw iddo, yr hwn a enwodd efe Isaac, yr hyn sydd yn arwyddo chwerthiniad; ac yn wir hwy a'i galwasant felly o herwydd chwerthin o Sarah pan fynegodd Duw ‡ y byddai iddi fab, pryd nad oedd disgwyliad ganddi am hynny, megis fod ei hamser i ymddwyn plant wedi myned heibio, a hi yn awr yn ddeng mlwydd a phedwar ugain o oedran, ac Abraham yn gan mlwydd; felly eu mab hwn a anwyd iddynt ill dau ar yr olaf o'r nifer ddegawl o flynyddau: a hwy a enwaedasant arno § yr wythfed dydd; ac o'r pryd hwnnw yr Iuddewon a barhasant i enwaedu ar eu plant ym mhen y nifer hynny o ddyddiau: ond am yr Arabiaid, hwy a'i harferant yn ol y drydydd flwyddyn ar ddeg, o herwydd i Ismael, sefydlwr eu cenedl hwy, yr hwn a anwyd o'r ordderch-wraig i Abraham, gael enwaedu arno yn yr oedran hwnnw; ymherthynas i ba un y bydd i mi adrodd yn fwy neillduol yn ol hyn.

Am Sarah yr ydoedd ar y cyntaf yn hoffi Ismael, yr hwn a anesid o'i llaw-forwyn Hagar, gyd â serchawgrwydd nid llai nâ mam; canys efe a ddygid i fynu mewn trefn i gymmeryd y llywodraeth arno yn ol dyddiau Abraham; ond wedi ymddwyn mab ei hun, nid ydoedd foddlawn i'w cyd-ddygiad i fynu yn yr un teulu, gan ei fod yn rhy iselradd, a chanddo fantais i wneud niweid i Isaac yn ol marwolaeth eu tad. Hi gan hynny a berswadiodd Abraham i'w anfon ef a'i fam i ryw wlad bellennig. Yn awr ar y dechrau ni chyd syniodd a'r hyn ag oedd Sarah mor awyddus iddo, gan ei gyfrif yn weithred o fawr greulondeb i anfon plentyn ieuangc‖ a'i fam ymaith, heb arlwyaeth angenrheidiol gogyfer a'u cynhaliaeth hwynt: eithr o'r diwedd efe a gyd-syniodd â hi, o herwydd fod Duw yn foddlon i ddymuniadau Sarah; felly efe a roddodd Ismael at ei fam; fel pe na buasai megis etto yn alluog i fyned wrtho ei hun, gan orchymmyn iddi gymmeryd costrelaid o ddwfr, a thorth o fara,¶ ac felly ymadael, a chymmeryd angenrheidrwydd yn gyfarwyddyd iddi. Ond mor gynted ag y treuliodd eu harlwyaeth, hi a gafodd ei bod yn ddrwg ei chyflwr; a phan oedd y dwfr ar ddarfod, hi a adawodd y plentyn ieuangc dan ffynnidwydden, yr hwn oedd barod i drengu, ac a gerddodd yn y blaen, fel y byddai farw yn ei habsennoldeb, ond dwyfol angel a ddaeth atti, ac a fynegodd am ffynnon ydoedd gerllaw; gan orchymmyn iddi ofalu dros, a dwyn i fynn y plentyn, am y byddai iddi ddedwyddwch oddiwrth ei hymgeleddiad o Ismael. Yna hi a ymgefnogodd ar yr olwg o'r hyn a addawid iddi; a chan gyfarfod a rhyw fugeiliaid, drwy eu gofal drosti, hi a ryddhawyd o'r cyfyngder yr ydoedd o'r blaen ynddo.

Pan dyfodd y llangc i fynu, efe a briododd wraig, yr hon oedd Aiphtes wrth enedigaeth; o ba wlad yr ydoedd ei fam hefyd yn tarddu yn ei dechreuad. O'r wraig hon y ganwyd i Ismael ddeuddeg mab; Nabioth, Kedar, Abdeel, Mabsam, Idumas, Masmaos, Massaos, Chodad, Theman, Jetur, Naphesus, a Kadmas. Y rhai hyn a breswyliasant yr holl wlad o Euphrates hyd y mor coch, ac a'i galwasant Nabatene. Cenedl yw y rhai hyn o Arabiaid, ag sydd yn galw eu

---

*Gen. xxi. 31. †Bl. 1937.

‡Y mae 'n haeddiannol o sulw fod Josephus yma yn galw y prif-angel a ymddangosodd i Abraham, ac a ragfynegodd am enedigaeth Isaac, yn union-gyrchiol, yn Dduw; yr hyn ac efe wedi ei wneud o'r blaen, pen. 11, ac yn ei wneuthur drachefn, pen. 13, nid yw beth dieithr mewn darllenydd a derchafwr mawr o waith Philo, pa un sydd yn ei wneuthur mor fynych; yr hon iaith o eiddo Josephus yma sydd yn ein darparu i gredu ymadroddion eraill o'i eiddo ef, mai dyn doeth ydoedd yr Iesu, os yw gyfreithlon ei alw yn ddyn, llyfr XVIII. pen 3,---a Duw y gair, yn ei homili ddiweddaf ymherthynas i Hades, pa eiriau a allent fod yn bur a diledryw; ac nid yw 'r ymadroddion eraill, o ddwyfol angel, a arferodd yn flaenorol ac yn ddilynol, ag ystyriaeth amgen iddynt.

§Nid ydoedd yr enwaediad yma i fod yn ol, ond ar yr wythfed dydd; fel y crybwyllir mewn lle arall gan Josephus. Cyffelyb drefn i'r hyn a gyfarfyddwn yn y Testament Newydd, Matth. xxvii. 63. Luc ii. 21. Ioan xx. 26. Syl. Reland.

‖Y mae Josephus yma yn galw Ismael, plentyn ieuangc, neu faban, yn ol y Groeg; er ei fod uwchlaw tair blwydd ar ddeg o oedran. Gelwid Herod hefyd, gan Josephus, yn wr tra ieuangaidd yn bum mlwydd a'r hugain; ac Aristobulus yn blentyn tra ieuangc, pan ydoedd yn un a'r bymtheg oed, Hynaf. XV. 2. Gelwir Domitian hefyd ganddo yn blentyn tra ieuangaidd, pan aeth ar gennadwri i'r Almaen, ynghylch deunaw mlwydd o oedran, Rhyf. yr Iudd. VII. 4. Gwraig Samson, ynghyd â Ruth, wedi myned yn weddw, a elwir yn blant, yn ol yr argraphiad Groeg o waith Josephus, Hynaf. V. 8, 9. Ac yn ganlynol yng ngwaith Xenophon mae gennym rai dan enw plant, hyd 16 neu 17 mlwydd o oedran. Cyh. Hutch. t. d. 12.

¶Gen. xxi. 14.

llwythau yn ol yr enwau uchod, yn gystal ar gyfrif eu hunain-rinweddau, ac oblegid enwogrwydd eu tad Abraham.

## PENNOD XIII.

*Am Isaac, mab cyfreithlon Abraham.*

YN awr, Abraham ydoedd yn caru Isaac yn fawr, megis ei unig-anedig fab,* a roddasid iddo ar derfyn henaint, trwy ewyllys da Duw. Y plentyn hefyd a barodd fwy o anwyldeb yn ei rieni tu ag atto, drwy ymarferiad o bob rhinwedd, ac ymostwng i'w ddyledswydd iddynt, a bod yn dra pharchus o addoliad Duw. Abraham hefyd a orphwysodd ei hapusrwydd yn gwbl ar y golygiadau hyn; sef, wedi marw o hono ef, y gadawai ei fab hwn mewn cyflwr diangol a sicr, yr hyn yn ganlynol a fwynhaodd drwy ewyllys Duw; yr hwn ac efe yn dymuno gwneuthur profiad o grefyddol ffyddlondeb Abraham tu ag atto ei hun, a ymddangosodd iddo, gan rifo yr holl fendithion a osodasai yn ei ran, a'r modd y gwnaethai ef i ragori ar ei elynion: ac am ei fab Isaac yr hwn ydoedd brif wrthddrych ei ddedwyddwch presennol, ddarfod iddo ddeilliaw oddiwrtho ef—a'i fod yn ei ofyn ganddo ef yn aberth ac yn offrwm cyssegredig. Yn ganlynol efe a orchymmynodd iddo ei gymmeryd ef i fynydd Moria,† ac adeiladu allor, a'i offrymmu yn aberth tanllyd arni; oblegid mai hyn a ddangosai yn oreu ei ffyddlondeb crefyddol tu ag atto ef, os dewisai yr hyn a ryngai fodd Duw yn fwy na chadwedigaeth ei fab ei hun.

Yn awr Abraham a feddyliodd nad oedd weddus iddo anufuddhau i Dduw mewn dim, ond bod rhwymedigaeth arno i'w wasanaethu ym mhob amgylchiad, gan fod pob creadur byw yn derbyn ac yn mwynhau eu bywydau trwy ei ragluniaeth ef, a'r trugareddau y mae yn ei gyfrannu iddynt. Yn ganlynol, efe a gadwodd yn guddiedig y gorchymmyn hwn o eiddo Duw, a'i fwriadau ei hun o laddedigaeth ei fab oddiwrth ei wraig, yn gystal ag oddiwrth ei holl wasanaeth-ddynion hefyd, pe amgen efe a rwystrasid yn ei ufudd-dod i Dduw; ac efe a gymmerodd Isaac, ynghyd â dau o'i weision, a chan osod y pethau oeddynt angenrheidiol at offrymiad ar asyn, efe a aeth ymaith i'r mynydd. Yn awr, y gwasanaeth-ddynion a aethant gyd ag ef dros ddeuddydd; eithr ar y trydydd dydd pan ganfu efe y mynydd, efe a adawodd ei langciau gyd â'r asyn yn y gwastadedd, ac â'i fab yn unig gyd ag ef, efe a aeth i fynu i'r mynydd. Y mynydd hwn ydoedd yr un ag yr adeiladodd y brenin Dafydd deml arno.‡ Yn awr hwy a ddygasant gyd â hwynt bob peth anghenrheidiol i aberthu, oddigerth y creadur a offrymmid. Yn awr yr ydoedd Isaac yn bum mlwydd a'r hugain o oedran;§ ac fel yr oedd yn cyd-adeiladu yr allor â'i dad, efe a ofynnodd iddo pa beth ydoedd ar fedr ei aberthu, gan nad oedd un creadur yn ymddangos yn bresennol at yr offrymiad? I'r hyn y gwnaethpwyd attebiad, Yr edrychai Duw iddo ei hun am ddefnydd yr offrwm, gan ei fod yn alluog i arlwyo gogyfer ag anghenion dynion allan o'r hyn nid oes ganddynt, ac ymddifadu eraill o'r hyn sydd ganddynt eisoes, pan hyderant arnynt yn ormodol: gan hynny os gwelai Duw yn dda fod yn bresennol, a dangos ei raslonrwydd yn yr aberthiad hwn, y gofalai ei hun am wrthddrych yr offrymiad.

Cyn gynted ag y trefnwyd yr allor, ac y gosodwyd y coed arni gan Abraham, ac â phob peth yn awr mewn parodrwydd, efe a lefarodd wrth ei fab yn gyffelyb i hyn; "O fy mab! mi dywelltais allan anneirif weddiau ar fod i mi dy feddu di yn fab; ac wedi dy ddyfod i'r byd, nid oedd dim ag a dueddai i'th gyssur a'th gynnaliaeth nad oeddwn yn awyddus i'w ddefnyddio at hynny; ac na allai dim roddi mwy boddlonrwydd i mi nâ'th weled wedi tyfu i fynu i

* Nodwch, y gelwir Isaac yma, ac yn Hebr. xi. 17, unig-anedig fab, pan ydoedd, yr un amser, mab arall i Abraham, sef Ismael. Y mae'r Septuagint yn ymadroddi yn gywirach, wrth ddywedyd—ei un anwyl mab.

† Gen. xxii. 2.

‡ Y mae yma gyfeiliornad amlwg yn y copiau, y rhai sydd yn crybwyll mai y brenhin Dafydd yn ol hyn a adeiladodd y deml ar fynydd Moria, pan yn sicr nad ydoedd neb amgen nâ'r brenin Solomon a adeiladodd y deml honno, megis yn wir y mae Procopius yn tystio oddiwrth Josephus; yn unig os newidiwn y gair teml, i'r gair allor, nid rhaid diwygio 'r enw, canys Dafydd ac nid Solomon ydoedd yr hwn a adeiladodd yr allor gyntaf yno, fel y'n dysgir, 2 Sam. xxiv. 18, &c. 1 Cron. xxi. 22, &c.

§ Bl. 1912.

oedran gwr; ac y byddai i mi, ar fy ymadawiad â'r byd, dy adael yn llywodraethwr ar fy etifeddiaeth; ond gan mai trwy ewyllys Duw y daethym yn dad i ti, ac mai ei ewyllys yw yn awr im' dy roddi i fynu iddo ef, goddef hyn o gyssegriad iddo gyd â meddwl tawel a heddychol; i Dduw i'th orchymmynaf, yr hwn a farnodd yn gymmwys yn awr geisio y dystiolaeth hon o ufudd-dod iddo ef, ar gyfrif y rhadlonrwydd a ddangosodd tu ag attaf fi yn fy nghynnal a'm hamddiffyn. Yn ganlynol tydi, fy mab, a fyddi yn awr farw, nid mewn ffordd gyffredin o fyned allan o'r byd, ond trwy dy anfon at Dduw, tad pob dyn byw, ym mlaenllaw, gan dy dad dy hun, mewn ffordd o offrwm. Meddyliaf nad yw yn dy olygu yn addas i ymadael â'r byd, trwy glefyd, rhyfel, neu ryw ffordd drallodus arall, trwy ba un y mae angau yn arferol o orddiwes dynion, ond felly fel ag y byddo iddo dderbyn dy enaid gyd ag erfyniau a chyflawniad sanctaidd ddyledswyddau crefydd, a'th osod yn agos atto ei hun; a thi a fyddi yno yn gymmorth ac yn amddiffyn i mi yn fy henaint, i'r hwn ddiben y'th ddygais yn bennaf i fynu, a thrwy hynny ti a ennilli Dduw i fod yn ddiddanydd i mi yn dy le dy hun."

Yn awr yr oedd Isaac o'r fath dymmer addfwyn ag oedd yn perthynu i fab y cyfryw dad, ac a foddlonodd i'r ymadrodd hwn, gan ddywedyd nad oedd deilwng i gael ei eni ar y cyntaf, pe gwrthwynebai ewyllys Duw, a'i dad ei hun, ac os na roddai ei hun i fynu gyd â pharodrwydd i'w dymuniadau, yn gymmaint ag y byddai yn anghyfiawn iddo anufuddhau, pe buasai ond ei dad yn unig wedi amcanu megis uchod: felly efe a aeth yn union-gyrch at yr allor i'w aberthu; a'r weithred a gyflawnasid pe na buasai Duw yn lluddias hynny, canys efe a lefodd yn uchel ar Abraham wrth ei enw, gan wahardd lladd o hono ei fab, a dywedyd nad o ddymuniad i dywalltgwaed dynol y gorchymmynasai iddo ladd ei fab, ac nad oedd efe yn ewyllysio fod iddo gael ei gymmeryd ymaith oddiwrth yr hwn a drefnasai iddo yn dad, ond i brofi tymmer ei feddwl, a fyddai iddo ufuddhâu i'r fath orchymmyn. Wedi ei foddloni gan hynny yn awr am ewyllysgarwch a pharodrwydd ei dduwioldeb, yr oedd yn ymhyfrydu yn cyfrannu y fath fendithion i'r cyfryw un, ac na ddiffygiai mewn pob rhyw ofal am dano; y byddai byw ei fab rifedi mawr o flynyddau mewn dedwyddwch, gan adael o'i ol etifeddiaeth ëang i'w blant, y rhai a fyddant rinweddol a chyfreithlon. Efe a rag-fynegodd hefyd y byddai i'w deulu amlhau yn amrywiol o genhedlaethau; * ac y byddai i'r patriarchaid adael o'u hol enw tragywyddol; yr etifeddent wlad Canaan, ac yr eiddigeddid eu cyflwr gan bob dynion. Wedi i Dduw lefaru yn y modd hwn, efe a ddangosodd hwrdd † iddynt, (yr hwn ni 's gwelsent o'r blaen) i fod yn aberth: felly Abraham ac Isaac, gan fwynhau eu gilydd drachefn yn annisgwyliadwy, ac wedi derbyn addewidion o'r fath helaeth fendithion, a ymgofleidiasant y naill y llall; ac wedi aberthu, hwy a ddychwelasant at Sarah, a buont fyw ynghyd yn ddedwydd, trwy fod Duw yn caniatâu ei gymmorth iddynt yn yr hyn oll a ddeisyfent.

## PENNOD XIV.

*Am Farwolaeth a Chladdedigaeth Sarah, Gwraig Abraham.*

YN awr Sarah ‡ y fu farw ym mhen ychydig amser ar ol hyn, wedi byw un cant a saith a'r hugain o flynyddau. Hwy a'i claddasant yn

* Fe ymddengys yma, ac yn addewid gyfartal Duw i Jacob, pen. 19, nad ydoedd gan Josephus un math o dyb am ddirgel ystyr yr addewid bwysfawr a godidog honno---Yn dy had di y bendithir holl deuluoedd y ddaear: nid yw yn dywedyd, ac i'w hadau, megis am lawer, ond megis am un, ac i'th had di, yr hwn yw Crist. Gal. iii. 16. Ac nid yw hyn ryfeddod, oblegid nad oedd megis etto, fel y tebygaf, yn Gristion: a phe buasai Gristion, etto gan nad oedd hyd y rhan ddiweddaf o'i fywyd amgen na Christion Ebonaidd, y rhai a wrthodent ac a ddiystyrent St. Paul uwchlaw yr holl apostolion, ni fuasai o fawr ryfeddod iddo anghydffurfio â'i esponiadau ef. Yn y cyfamser y mae gennym mewn effaith eglurhad St. Paul yn nhestament Reuben, rhan I. dal. 302, yn gorchymmyn i'w feibion "I addoli had Juda, yr hwn a fyddai farw drostynt mewn rhyfeloedd gweledig ac anweledig, ac y byddai yn frenin tragywyddol yn eu mysg." Ac nid yw 'r sulw hynny o'r eiddo dysgawdwr tramor o'm cydnabyddiaeth i'w ddiystyru, yr hwn a ddywed fod hadau yn y rhif liosog yn arwyddo hiliogaeth; felly had yn y rhif unigol a arwydda yr un peth, neu berson neillduol yn unig; ac mai yn yr addewid hon o ddedwyddwch pob cenhedlaethau yn had Abraham, Isaac, neu Jacob, &c. yr arferir bob amser y rhif unigol; at yr hyn y chwanegaf, ei fod weithiau wedi ei nodi â dull amgen o ymadrodd, sef, mab Abraham, mab Dafydd, &c. yr hyn nid yw ddarostyngedig i'r cyfryw ystyr amheus. Gwel Lecturau R. Boyle yn Saesonaeg, t. d. 247---272.

†Gen. xxii. 13. ‡Gen. xxiii. 1, 2. Bl. 1900.

Hebron, wedi caniattâu yn gyhoeddus gladdfa iddynt gan y Canaaneaid, yr hon gladdfa neu ddarn o dir a brynasai Abraham, am bedwar can sicl o arian, gan Ephron, yr hwn oedd yn preswylio yn Hebron. Felly Abraham a'i dylwyth ar ei ol, a adeiladasant feddrod iddynt eu hunain yn y lle hwnnw.

## PENNOD XV.

*Am genedl y Troglodytiaid, a darddasant oddi wrth Abraham gan Cetura.*

ABRAHAM yn ol hyn a briododd Cetura, o ba un y ganwyd iddo chwech o feibion, gwŷr grymmus, ac o synnwyroldeb mawr. Sambran, a Jaza, a Madan, a Madian, a Josabac, a Sous. Yn awr meibion Sous ydoedd Sabathan, a Dadan. Meibion Dadan ydoedd Latusim, Assur, a Luom. Meibion Madian ydoedd Ephas, Ophron, Anoch, Ebidas, ac Eldas. Yn awr Abraham a arfaethodd sefydlu yr holl feibion a'r ŵyrion hyn yn drefedigion; a hwy a gymmerasant feddiant o Troglodytis, a gwlad yr Arabia ddedwydd, cyn belled ag y mae 'n cyrraedd hyd y môr coch. Fe adroddir am Ophren, iddo ef wneuthur rhyfel yn erbyn Lybia, a'i chymmeryd hi; ac i'w ŵyrion pan feddiannasant hi, ei chyfenwi oddiwrth ei enw ef, Affrica: Ac yn wir y mae Alecsander Polyhistor yn cyd-dystio â'r hyn wyf yn ei ddywedyd yma, pan y mae'n mynegi fel hyn: "Cleodemus y prophwyd, yr hwn hefyd a enwid Malchus, pa un a ysgrifenodd hanes yr Iuddewon, yn gyd gysson â hanesyddiaeth Moses eu deddfwr, a ddywed ddarfod i amryw o feibion gael eu geni i Abraham o Cetura. Y mae yn enwi hefyd dri o honynt, Apher, a Surim, a Japhran: ac mai oddiwrth Surim y cafodd gwlad Assyria ei chyfenwi; ac hefyd mai oddiwrth y ddau eraill, Apher a Japhran, y cafwyd yr enw dechreuol i wlad Affrica, o herwydd fod y gwŷr hyn yn gynuorthwywyr Hercules, pan ymladdodd yn erbyn Lybia ac Antæus; a darfod i Hercules briodi merch Aphra, a chenhedlu mab o honi a elwid Diodorus; ac mai Sophon ydoedd ei fab ef, oddiwrth yr hwn y tarddodd y bobl farbaraidd a elwid Sophasiaid."

## PENNOD XVI.

*Am Briodas Isaac.*

YN awr pan oedd Abraham, tad Isaac, yn cyflawn fwriadu cymmeryd Rebecca, yr hon oedd ŵyres i'w frawd Nahor, yn wraig i'w fab Isaac, yr hwn ydoedd yn awr ynghylch deugain mlwydd o oedran, efe a anfonodd ei was hynaf i'w dyweddïo hi; wedi ei rwymo i'r addunedau cryfaf o ffyddlondeb, yn y drefn ganlynol: gosodasant y naill ddwylaw'r llall dan eu morddwydydd, gan alw ar Dduw i fod megis yn dyst o'r hyn ydoedd i gael ei gyflawni. Efe hefyd a ddanfonodd y fath anrhegion i'r rhai yr oedd yn cyfarwyddo ei was attynt, ag a fawr barchent, neu ydoedd yn anadnabyddus yn y wlad honno. Y gwas hwn ni allai gyrhaeddyd yno heb dalm o amser: oblegid ei fod yn gofyn amser maith i fyned drwy Mesopotamia, a bod ymdeithio yno yn flinderus o herwydd dyfnder y ffyrdd yn y gauaf, a'r diffyg o ddwfr yn yr haf i ddisychedu 'r trafaelwyr; ac heblaw hyn y mynych yspeilio a arferir yno, yr hyn ni ellir ei ochelyd gan drafaelwyr heb y gofal mwyaf. Pa fodd bynnag, y goruchwyliwr a ddaeth i Haran, a phan ydoedd ar ei chyffiniau, efe a gyfarfu â nifer o langcesau yn myned i dynnu dwfr; efe gan hynny a weddiodd at Dduw ar fod Rebecca i'w chael yn eu mysg, neu yr hon ag oedd Abraham wedi ei ddanfon fel ei gennad atti i'w dyweddïo yn wraig i'w fab, os ei ewyllys oedd cyflawni y fath briodas; a bod iddi gael ei gwneud yn adnabyddus iddo drwy 'r arwydd yma; sef, pan ommeddid iddo ddwfr i'w yfed gan eraill, y rhoddid iddo gan y cyfryw.

Gyd â'r bwriadau hyn efe a aeth i wared at y ffynnon, ac a ddymunodd ar y llangcesau i roddi dwfr i'w yfed; ond tra 'r ydoedd eraill yn ei ommedd, gyd ag esgusodiad fod y dwfr yn eisiau oll gartref, ac na allent hepcor dim o hono iddo ef; un yn unig o'r rhifedi a'u ceryddodd hwy am eu hymddygiad anfwyn tu ag at y dieithrddyn, gan ddywedyd, "Pa beth a gyfrannwch i unrhyw ddyn, y rhai ni roddwch i'r gwr hwn gymmaint ag ychydig ddwfr? Yna hi a gymmellodd ddwfr iddo mewn modd tra thirion, ac

yntau a ddechreuodd obeithio fod ei brif neges ef i gael ei lwyddo; ond ag efe yn dymuno ym mhellach gael gwybod y gwirionedd, efe a'i canmolodd am ei haelioni a'i hewyllys da, ac am na rusodd gyfrannu digonedd o ddwfr i'r rhai ag oedd mewn eisiau o hono, er peri llafur iddi ei hun wrth wneuthur hynny. Yna efe a ofynnodd pwy ydoedd ei rhieni, gan ewyllysio cyssur iddynt oddiwrth ferch mor hawddgar; hefyd, eb efe, "dyweddïer di wrth eu bodd i deulu gwr cyfaddas, gan ddwyn iddo blant cyfreithlon." Ac ni ddiystyrodd hi ei chwanegol ymofyniad, ond a gyfaddefodd ei theulu wrtho. "Galwant fi," eb hi, "Rebecca; fy nhad ydoedd Bethuel, ond efe a fu farw, a Laban yw fy mrawd, yr hwn, ynghyd â'm mam, sydd yn gofalu am holl achosion ein teulu, ac sydd hefyd yn olygwr arnaf finnau." Pan glybu y goruchwyliwr hyn, yr oedd yn dra dymunol ganddo y peth a ddigwyddasai, a'r hyn a ddywedasid wrtho, gan olygu wrth hyn ddarfod i Dduw hyd yma ei gyfarwyddo yn ei daith; a chan dynnu allan ei freichledau, a rhai addurniadau eraill, ag oeddid yn ei gyfrif yn weddus i wyryfon eu gwisgo, efe a'u rhoddodd i'r forwynig, mewn ffordd o gydnabod, ac yn wobr am ei chymmwynasgarwch yn rhoddi dwfr iddo i'w yfed, gan ddweud nad oedd ond cyfiawn iddi eu cael hwynt, o herwydd rhagoroldeb ei gweddeidd-dra ar y morwynion eraill. Hi a'i cymmellodd hefyd i ddyfod i lettŷa gyd â hwynt, gan nad oedd agoshad y nos yn cennadu iddo fyned ymhellach. Yna gan ddwyn i'r golwg ei addurniadau gwerthfawr a wisgid gan ferched, dywedodd nad oedd yn ewyllysio eu hymddiried i neb yn fwy diogel nag i'r cyfryw a ddangosasai hi ei bod; a'i fod yn credu y gallai hyderu ar gymmwynasrwydd ei mam a'i brawd, ac na anfoddlonent tu ag atto ef, o herwydd y rhinwedd a welsai ynddi hi; canys ni byddai yn faich iddynt, ond a dalai y gost o'i arosfa a'i dderbyniad i'w tŷ, allan o'i arian ei hun: i'r hyn yr attebodd, ei fod o feddyliau uniawn ymherthynas i gymmwynasrwydd ei theulu; ond hi a achwynodd oblegid ei ddychymmygion am eu cynnildeb, ei fod gymmaint ag y derbynient arian am ei roesawiad, eithr fe ddiwallid ei holl anghenion ef yn rhad; ond hi a ddywedodd yr elai yn gyntaf i fynegi i'w brawd Laban, ac os cydsyniai, y deuai hi drachefn i'w arwain i mewn.

Cyn gynted ag y gwnaethpwyd hyn, gweision Laban a gymmerasant y camelod i mewn, gan wneuthur triniaeth dda arnynt; a'r gwr dieithr a ddygwyd ei hun gan Laban i swppera; ac ar ol swpper y goruchwiliwr a lefarodd wrtho, ac wrth fam y llangces, gan gyfeirio yn bennaf atti hi, a dywedyd.—"Abraham ydoedd fab Terah, a charennydd i chwithau; canys Nahor, taid y plant hyn, ydoedd frawd Abraham, o'r un tad a mam; ar ba gyfrif efe a'm hanfonodd attoch, gan ewyllysio cael yr wyryf hon yn wraig i'w fab ef. Ei fab cyfreithlon ydyw, yr hwn a ddygwyd i fynu fel ei unig etifedd. Gallasai yn ddiau gael y brydferthaf o fenywod y wlad honno yn brïod iddo; ond nis mynnai i'w fab briodi neb o honynt, o herwydd ei ddewisiad o'i genedl ei hun. Ni fynnwn gan hynny i chwi ddirmygu ei serchogrwydd ef; canys o ewyllys Duw y cyfarfu rhai damweiniau cyssurus eraill â mi yn fy ymdaith, ac o herwydd hynny y cyfarfûm â'ch merch ac â'ch trigfan chwi; canys pan oeddwn yn agos i'ch dinas, mi ganfyddais amryw o langcesau yn dyfod at ffynnon, ac mi a weddiais ar gyfarfod o honof â'r llangces hon, yr hyn yn ganlynol a ddigwyddodd. Sicrhewch gan hynny y briodas hon, dyweddi pa un a gyflawnwyd eisoes trwy drefniadau dwyfol ragluniaeth, a dangoswch y parch sydd gennych i Abraham, yr hwn a'm hanfonodd gyd â'r fath gennadwri o ofal a thaerineb ar gydsynio o honoch i brïodas y llangces hon." Ar hyn hwy a ddeallasant mai ewyllys Duw ydoedd, ac a wnaethant dderbyniad caredig o'r cynnygiad; gan anfon eu merch* gyd â'r goruchwyliwr megis y dymunasid. Yn ganlynol Isaac a'i priododd hi, wedi i'r etifeddiaeth yn awr ddyfod iddo ef; canys meibion Cetura a symmudasid ymaith i'w trigfannau pellennig.

* Gen. xxiv. 59.

## PENNOD XVII.

*Am Farwolaeth Abraham a'i Gladdedigaeth.*

YCHYDIG amser yn ol hyn y bu farw Abraham;* efe ydoedd ŵr o anghydmarol rinwedd, ac a anrhydeddwyd gan Dduw mewn modd cyfattebol i'w ffyddlondeb tu ag atto. Holl amser ei fywyd ydoedd un cant a phymtheg a thrugain o flynyddau, † ac efe a gladdwyd yn Hebron, gyd â Sarah ei wraig, gan eu meibion Isaac ac Ismael.

## PENNOD XVIII.

*Am enedigaeth a meithriniad Esau a Jacob.*

YN ol marwolaeth Abraham, bu i wraig Isaac ymddwyn, ‡ ac wedi myned ym mhell mewn 'stad o feichiogrwydd, Isaac oedd yn dra phryderus, ac a ymofynodd â Duw ymherthynas iddi: yr hwn a attebodd, yr esgorai Rebecca ar efeilliaid, ac y byddai i ddwy genedl gael eu cyfenwi oddiwrth y meibion hyn; ac y byddai i'r hwn a ymddangosai yn ail ragori ar y cyntaf. § Yn ganlynol darfu iddi ar fyrr amser, megis y rhagfynegodd Duw, esgor ar efeilliaid; yr hynaf o ba rai o'i ben hyd ei draed ydoedd yn arw ac yn flewog; ond yr ieuangaf a ymaflodd yn ei sawdl ef pan oeddynt yn yr esgorfa. Yn awr eu tad a garai yr hynaf, yr hwn a gyfenwid Esau; enw ag oedd yn arwyddo ei erwindeb; o herwydd galwai yr Hebreaid y fath erwindeb blewog Esau ‖ neu Seir: ond Jacob yr ieuangaf a gerid yn fwyaf gan ei fam.

Pan ydoedd newyn yn y wlad, penderfynodd Isaac i fyned i'r Aipht, gan fod y tir yno yn ffrwythlon; eithr i Gerar yr aeth efe, megis y rhybuddiwyd ef gan Dduw. Yna Abimelech, y brenin, a'i derbyniodd yr roesawgar, o herwydd ddarfod i Abraham o'r blaen drigo gyd ag ef, a'i fod yn gyfaill iddo: Ond wedi canfod fod Duw gyd ag Isaac, ac yn gofalu cymmaint drosto, efe a eiddigeddodd wrtho, ac a'i hanfonodd ymaith. Wedi gweled y cyfnewidiad hwn yn nhymmer Abimelech, Isaac a ymadawodd i le a elwid y Dyffryndir, heb fod yn neppell o Gerar: ac fel yr oedd efe yn cloddio pydew; y bugeiliaid a ddaethant ar ei warthaf, gan ddechrau ymgynhennu i'r diben i attal y gwaith ym mlaen; ac o herwydd nad oedd efe yn ewyllysio ymryson â hwynt, y bugeiliaid a ymddangosasant fel yn cael y llaw uchaf arno. Felly efe a giliodd ymhellach ac a gloddiodd bydew arall; a phan ddaeth bugeiliaid eraill yngwasanaeth Abimelech i gynnyg trais iddo, gadawodd y pydew hwnnw hefyd, ac a symmudodd ymaith drachefn, gan bwrcasu y modd hwn ddiogelwch iddo ei hun trwy ymddygiad pwyllog a rhesymmol. O'r diwedd y brenin a roddes iddo gennad i gloddio pydew, yr hwn a enwodd efe Rehoboth, yn arwyddo lle ëang. Ac am y pydewau, neu ffynhonnau eraill, un a alwyd Escon, yr hyn sydd yn arwyddo ymryson; yr un arall oedd Sitenna, pa un a arwyddai gelyniaeth.

Amgylchiadau Isaac oeddynt yn awr mewn gwedd gyssurus, a'i awdurdod a gynnyddodd oddiwrth amlder ei gyfoeth. Ond ag Abimelech yn dychymmygu fod Isaac yn llwyddo mewn gwrthwynebiad iddo ef, tra'r oedd eu dull o gyd-wladychu yn peri iddynt fod yn eiddigus tu ag at eu gilydd; ac Isaac trwy ei enciliad neu ymadawiad oddiwrtho, ydoedd yn arwydd dirgelaidd o elyniaeth; amheuodd y brenin na fyddai i'w cyfeillgarwch gynt ei ddiogelu ef, os ymröai Isaac i ddïal y camweddau a wnaethid ag ef o'r blaen: efe gan hynny a adnewyddodd ei gymdeithasrwydd ag ef, ger bron Philoc,¶ pennaeth ei fyddin; a phan ganiattawyd iddo yr hyn oll a ddeisyfodd, trwy ymddygiad gymhedrol Isaac, yr hwn oedd yn perchi yr

---

* Bl. 1862. † Gen. xxv. 7.

‡ Mynegir yma eni Esau a Jacob yn ol marw Abraham; dylasai yn hytrach fod yn ol marw Sarah. Yr amseryddiaeth yma sydd yn sicr ddangos anghywirdeb y cyntaf. Trefn yr hanes yn Genesis, heb fod yn cyttuno bob amser â threfn yr amseroedd, a ymddengys megis yn achlysur o gam-arwain Josephus, fel y sylwia Dr. Bernard yn y lle yma.

§ Gen. xxv. 23. ‖ Am Seir, yn Josephus, y cyssylltad sydd yn gofyn ei ddarllen Esa neu Sier, yr hyn sydd yn arwyddo yr un peth.

¶ Tra mae gwaith Josephus yn Groeg a Lladin yn crybwyll y Philoc uchod, megis un o flaenoriaid byddin Abimelech ag ydoedd yn cyd-deithio ag ef, pan adnewyddodd yr hen gyfammod ag Isaac, yr hwn a wnaethid gynt ag Abraham; y mae ein hargraphiad diweddar a'i geilw ef Phicol, wrth y cyfryw enw a'r pen-ciwdawd ag oedd yn bresennol wrth ymgyfammodi ag Abraham, (yr hwn gyfammod ni chrybwyllir yn bendant gan Josephus,) ond y mae'r darlleniad dychymmygol hwn yn rhy ansicr i hyderu arno.

hynawsedd a ddangosasai Abimelech iddo ef a'i dad ar y cyntaf, i'r diben i symmud ymaith ei anfoddlonrwydd tu ag atto, efe a ddychwelodd adref.*

Yn awr wedi i Esau, un o feibion Isaac, yr hwn yr oedd ei dad yn ei garu fwyaf, ddyfod yn ddeugain mlwydd o oedran, efe a briododd Adah,† merch Helon; ac Aholibama, merch Esebeon; y rhai'n, Helon ac Esebeon, oeddynt arglwyddi mawr ym mhlith y Canaaneaid: ac wrth hynny yn cymmeryd iddo ei hun y llywodraeth, ac yn dychymmygu fod ganddo awdurdod ar ei briodasau ei hun, heb gymmaint a gofyn cyngor ei dad ymherthynas iddynt: canys pe buasai hyn wrth gyfarwyddyd Isaac, ni roddasai gennad iddo i briodi yn y modd hwn; canys nid ydoedd wrth ei fodd ef wneuthur un math o gyfeillach neu gyttundeb â phobl y wlad hono, ond heb ewyllysio ymddwyn yn anhirion wrth ei fab, gan orchymmyn iddo roddi heibio y gwragedd hyn, efe a fwriadodd ddistewi ar yr achos.

Ond wedi myned o hono yn oedranus, ac heb allu gweled, efe a alwodd Esau atto, gan ddywedyd wrtho, mai heblaw ei ddallineb, a'r afiechyd yn ei olwg, fod ei heneidd-dra yn rhwystr iddo i addoli Duw trwy aberthu: efe a barodd iddo gan hynny fyned i'r maes ar y gorchwyl o helwriaeth, ac o'r helfa a gymmerai wneuthur o hono iddo ef swpper;‡ fel y byddai iddo yn ol hyn osod ei erfyniau at Dduw, ar iddo fod yn gynhaliwr a chynnorthwywr iddo yn ei hen ddyddiau, gan ddywedyd ei fod yn ansicr pa bryd y byddai farw, a'i fod yn ewyllysio, trwy ei weddiau drosto, ynnill Duw ym mlaen llaw i fod yn drugarog wrtho.

Yn ganlynol Esau a aeth allan i hela. Ond a Rebecca yn ei ystyried yn addas i'r erfyniadau gael eu gwneuthur i'r diben i ynnill ffafr Duw i Jacob, heb gyd-syniad Isaac, hi archodd iddo ladd mynnod o'r praidd, a'u harlwyo yn swpper iddo. Jacob a ufuddhaodd i'w fam, yn ol ei holl addysgiadau; a phan barottowyd y swpper efe a gymmerodd groen gafr ac a'i dododd am ei freichiau, fel pan deimlai ei dad ef ei fod yn flewog, y credai mai Esau ydoedd: canys a hwy yn efeilliaid, ac ym mhob peth arall yn gyffelyb, oeddynt yn hyn yn unig yn gwahaniaethu. Hyn a wnaethpwyd trwy ei ofn ef, rhag cyn i Isaac wneud ei erfyniadau, y dalid ef yn y weithred ddrwg hon, a thrwy annog ei dad i'w felldithio ef. Felly efe a ddug i mewn y swpper i'w dad. Isaac yn ammau wrth neillduolrwydd ei lais pwy ydoedd efe, a alwodd ei fab atto; yr hwn a roddes ei law iddo ag oedd wedi ei gorchuddio â chroen gafr. Pan deimlodd Isaac hi, efe a ddywedodd, "Dy lais sydd debyg i lais Jacob, etto o herwydd trwch y blew sydd arnat, fe ymddengys mai Esau ydwyt."§ Felly heb feddwl am neb rhyw ddichell, efe a fwyttaodd o'r swpper ac a offrymmodd i fynu ei weddïau a'i erfyniadau at Dduw, gan ddywedyd, "O Arglwydd yr holl genhedlaethau, a chre-

---

* Gen. xxvi. 31. † Bl. 1817.

‡ Y swpper hwn o fwyd blasus, megis ei galwn Gen. xxvii. 4. ac a gafwyd trwy hela, ydoedd wedi ei fwriadu, fel y mae'n amlwg, ar ddydd yr aberthiad; a thrwy 'r mynych weddiau a fyddai arferol o gael eu gwneud y pryd hynny, yr oedd Isaac yn disgwyl, megis y digwyddai ar achosion pwysig, y byddai i ddwyfol gynhyrfiad ddisgyn arno, i'r diben i ddatgan bendith ar ei fab a fyddai yno yn bresennol, ac i ragfynegi ei amgylchiad a'i dynghedfen. Oddi yma'r ydoedd, wedi i Isaac fendithio Jacob, a deall yn ol hynny ei gam-synied, ni chynnygiodd ei gyfnewid, o herwydd y gwyddai nad oddiwrtho ef, ond oddiwrth Dduw yr oedd y fendith yn dyfod; a bod ei chyfnewid tu hwnt i'w allu ef. Daeth yn ol hynny ail gynhyrfiad arno, ag a'i gallnogodd i ragfynegi am gyflwr Esau, a'i dynghedfen mewn amser i ddyfod.

§ Pa un ai Jacob ai ei fam Rebecca ydoedd fwyaf beius yn en gwaith yn twyllo Isaac yn ei henaint, ni's gallaf iawn farnu. Pa fodd bynnag, wedi datgan y bendithion. fel rhag-fynegiad o bethau i ddyfod, trwy ddwyfol gynhyrfiad; ac yn ol yr hyn a wybu Rebecca ddarfod ei fwriadu gan Dduw, pan attebwyd i'w gofyniad cyn geni y plant, Gen. xxv. 23. y byddai y naill bobl neu genedl a darddai oddiwrthynt yn gryfach na'r llall, ac y gwasanaethai yr hynaf, Esau, yr ieuangaf, Jacob:---Pan un a ydoedd Isaac yn gwybod neu yn cofio yr areithiad hwn, wedi ei draethu, yn ol ein hargraphiadau ni, yn unig wrth Rebecca; neu os ydoedd yn ei wybod a'i gofio, ni chynnygiodd efe gyfnewid y dwyfol fwriad, trwy ei hoffder o'i fab hynaf, Esau, er niweid i'w fab ieuangaf Jacob, fel y meddwl Josephus, II. 7, nis gallaf ddywedyd yn sicr. Os ydoedd yn ei wybod, gallai hyn fod yn achlysur i Rebecca ddyfeisio, a Jacob gyflawni y weithred hon o dwyll yn ei erbyn ef. Pa fodd bynnag, Josephus a ddywed yma mai Isaac ac nid Rebecca a ymofynodd gyntaf â Duw, ac a dderbyniodd yr attebiad rhagddywededig; yr hyn os ydyw yn iawn ddarlleniad, sydd yn gosod allan Isaac yn fwy anesgusodol. Ac nid oedd o bossibl un peth arall a allasai annog Esau yn fwy i briodi dwy o wragedd Canaaneaidd, heb gydsyniad ei rieni, na'r hoffder anhapus oedd gan ei dad Isaac tu ag atto.

D. S. Ar yr achos yma, gall fod yn angenrheidiol i rybuddio 'r darllenydd yn erbyn rhagfarn dueddol y rhai diweddar, megis pe byddai adroddiad noeth o'r hyn a gyfrifir yn feiau ac yn frychau yn y patriarchiaid a gwŷr daionus eraill a sonia 'r ysgrythyr am danynt, yn eu cyfiawnhau hwynt. Mae 'r ysgrythyr yn rhoddi i ni ddarluniad cywir o'r personau y mae 'n crybwyll am danynt, ac yn adrodd am eu beiau a'u gwendidau mor ddiduedd ag am eu gweithredoedd da a doeth; etto nid yw bob amser yn gwneud casgliadau oddiwrthynt, ond yn fynych yn eu gadael i farn a deall y darllenydd ei hun; sef, i ddilyniad o'r hyn oedd dda, a gocheliad o'r pethau oedd yn ddrwg.

awdwr pob sylwedd, tydi ydoedd yr hwn a drefnaist ddigonolrwydd o bethau daionus i'm tad, ac a deilyngaist gyfrannu i mi yr hyn oll sydd gennyf; yr hwn a addewaist fod yn gynnorthwywr ffyddlon i'm hiliogaeth, a chyfrannu bendithion helaethach etto iddynt. Cadarnha gan hynny dy addewidion hyn, ac na ddirmyga fy ngwedd bresennol o herwydd fy ngwendid, ar ba achos yr wyf gyd â mwy o daerni yn gweddïo arnat. Bydd raslawn i fy mab hwn, cadw a gwared ef rhag yr hyn oll sydd ddrwg. Dyro iddo ddedwyddwch mewn bywyd, a meddiant o'r cyfryw bethau daionus ag wyt ti yn alluog i'w cyfrannu. Gwna ef yn arswyd i'w elynion, ac yn barchus ac yn anrhydeddus ym mhlith ei gyfeillion."

Fel hyn Isaac a weddiodd ar Dduw, gan feddwl ei wneuthur dros ei fab Esau. Nid ydoedd, pa fodd bynnag, ond yn brin wedi gorphen, pan y daeth Esau i mewn o'i helwriaeth; ac wedi i Isaac ganfod ei gamsyniaeth efe a ddistawodd. Esau a daer-ddeisyfodd ar fod iddo gyfrannogi o'r fendith a dderbyniasai ei frawd, ond ei dad a wrthododd, yn gymmaint a threulio o hono ei holl weddiau ar Jacob. Felly Esau a alarodd am y camsyniad; ond ei dad, pa fodd bynnag, yn tosturio wrth ei wylofain, a ddywedodd, "Y rhagorai mewn helwriaeth, mewn arfogaeth, ac mewn grym corphorol; ac y byddai yn glodfawr, efe a'i hiliogaeth, ym mhob oes oblegid y pethau hyn; ond er hynny y byddai islaw ei frawd megis gwasanaethwr."

Yn awr ei fam a ymddiffynnodd Jacob, pan ydoedd yn ofni rhag i'w frawd ymddïal arno, oblegid y camsyniad ymherthynas i weddïau Isaac: canys hi a annogodd ei gwr i gymmeryd gwraig i Jacob o Mesopotamia,* o'i thylwyth ei hun. Esau ydoedd eisiöes wedi priodi Basemmath, merch Ismael, heb ymgynghori â'i dad: Canys ag Isaac yn angharu y Canaaneaid, a anfoddlonodd i briodasau eraill Esau, yr hyn a barodd iddo gymmeryd Basemmath yn wraig i'r diben i'w foddloni ef; ac yn sicr yr oedd ei serch yn fawr tu ag atti hi.

* Gen. xxvii. 46.

## PENNOD XIX.

*Am ffoedigaeth Jacob i Mesopotamia.*

Yn awr Jacob a anfonwyd gan ei fam i Mesopotamia, i'r diben i briodi merch ei brawd Laban, (â'r hon briodas y cydsyniodd Isaac, o herwydd ei barodrwydd i wneud cyngor ei wraig,) ac yn ganlynol efe a ymdeithiodd trwy dir Canaan; ac o herwydd ei fod yn casâu trigolion y wlad honno, ni fynnai lettŷa gyd â neb o honynt, ond a gymmerodd i fynu ei letty dan yr awyr, gan osod ei ben ar garnedd o gerrig a gasglasai ynghyd.† Wedi syrthio mewn trwmgwsg, efe a freuddwydiodd ei fod yn gweled ysgol yn cyrhaeddyd o'r ddaear i'r nefoedd, a phersonau yn disgyn i lawr ar yr ysgol ag oedd yn ymddangos yn rhagorach na dynol; ac o'r diwedd Duw ei hun yn sefyll uwch ei phen, ac yn galw arno wrth ei enw, a ddywedodd, "O Jacob, nid yw weddus i ti, yr hwn wyt fab i dad mor fucheddol, ac ŵyr i un a gyrhaeddodd i'r fath enwogrwydd am ei rinweddau, ymollwng i ofidio a digalonni wrth dy amgylchiadau presennol, ond i obeithio am well amserau. Canys ti a feddianni helaethrwydd mawr o bethau daionus trwy fy rhagwelediad i. Canys mi a ddygais Abraham yma allan o Mesopotamia, pan anfonwyd ef ymaith gan ei garennydd; a gwnaethum dy dad yn ŵr dedwyddol. Ac ni fydd i mi gyfrannu gradd lai o happusrwydd arnat dy hun. Bydd gan hynny gyssurus a thân fy arweiniad i dos ym mlaen i'th daith; canys y briodas, oblegid pa un yr wyt yn ymdeithio, a gwblheir: a thi a feddianni blant o ymddygiad grasol, hiliogaeth pa rai a fydd yn ddirifedi. A hwy a adawant o'u hol yr hyn a fo ganddynt drachefn i hiliogaeth liosocach: i ba rai, ac i'w hiliogaeth hwythau, y gosodaf lywodraethiad yr holl wlad, a'u heppil a lenwa 'r ddaear, mor belled ag yr edrych yr haul arnynt. Ond nac ofna di un niweid, ac na arswyda unrhyw lafur a osoder arnat; canys myfi drwy fy rhagluniaeth a'th gyfarwyddaf di

† Gen. xxviii. 11.

yn yr hyn a wnai yr amser presennol, a hynny yn fwy hefyd yn yr amser a ddaw."

Y cyfryw ydoedd ragfynegiad Duw wrth Jacob; yr hyn pan glybu a barodd fawr lawenydd iddo; ac efe a dywalltodd olew ar y meini, wrth orwedd ar ba rai y rhagfynegasid am gyfraniadau mor odidog iddo. Efe hefyd a addunedodd adduned, yr offrymmai aberth arnynt, os byw a fyddai, a dychwelyd yn ddiogel: a phan ddeuai drachefn yn y fath amgylchiad, y rhoddai ddegwm o'r cwbl a fyddai ganddo i Dduw. Efe hefyd a farnodd y lle yn anrhydeddus, ac a ddododd arno yr enw Bethel; yr hyn os eglurir ef yn yr iaith Roeg, ydyw Tŷ Dduw.

Gwedi hyn efe a aeth ym mlaen yn ei daith i Mesopotamia, ac a ddaeth o'r diwedd i Haran; a chan gyfarfod â bugeiliaid yn ei chyffiniau, gyd â bechgyn a genethod mewn oedran, yn eistedd o amgylch pydew, efe a safodd gerllaw fel a dymuniad i gael dwfr i'w yfed ganddynt; ac wedi dechreu ymddiddan â hwynt, efe a ofynodd a adwaenent y cyfryw un a Laban? a pha un a ydoedd efe etto yn fyw? Dywedasant eu bod oll yn ei adnabod ef; ac nad oedd efe yn un mor anhynod a'i fod heb ei adnabod ganddynt; hefyd bod ei ferch gyd â hwynt yn bugeilio praidd ei thad, a rhyfeddu yr oeddynt na ddaethai yno; canys trwyddi hi, eb hwy, y gallasit wybod yn sicrach yr hyn a ewyllysiech ymherthynas i'r teulu hwnnw. Tra yr oeddynt fel hyn yn ymddiddan fe ymddangosodd y llangces, a bugeiliaid eraill gyd â hi. Yna y dangosasant Jacob iddi, gan ddywedyd mai dieithr-ddyn ydoedd, a'i fod yn ymholiam sefyllfa ei thad. Ond â hi yn llawen, yn ol arfer plant am ddyfodiad dieithriaid, a ofynnodd pwy ydoedd efe? ac o ba le y daethai? a pha beth ydoedd yr hyn oedd yn eisiau arno, pan ddaethai yno? Dymunodd hefyd fod yng- ngallu ei theulu i ddiwallu ei anghenion ef.

Jacob ar hyn a lwyr orchfygwyd, nid gymmaint o herwydd eu carennydd, a'r anwyldeb a darddai oddiwrth hynny, ag i'w serch i'r llangces hon, a'i syndod wrth ei thegwch hi, yr hwn ydoedd gyfryw a'r na 's gallasid cydmaru ond ychydig o ferched yr oes honno â hi. Yna efe a ddywedodd, Y mae perthynas rhyngot ti â mi, pa un sydd hynach na 'n genedigaeth, os merch Laban ydwyt. Canys Abraham ydoedd fab Terah, yn gystal a Haran a Nahor, mab i'r hwn ydoedd dy daid, Bethuel. Isaac fy nhad i ydoedd fab Abraham a Sarah, yr hon ydoedd ferch Haran. Ond y mae nês carennydd a diweddarach agosrwydd rhyngom ni a'n gilydd; canys fy mam Rebecca ydoedd chwaer i'th dad di, Laban, o un-dad un-fam. Myfi, gan hynny, a thydi, ydym gefnder a chyfnither; ac yr wyf yn dyfod i'th gyfarch di, ac i adnewyddu yr undeb sydd yn briodol rhyngom. Ar grybwylliad am Rebecca, y llangces a wylodd, a hynny oblegid ei charedigrwydd i'w thad, ac a gofleidiodd Jacob; am glywed o honi ei thad yn mynych sôn am Rebecca, ac y gwyddai fod ei rhieni yn hoff ganddynt ei henw hi; ac wedi iddi ymgyfarch ag ef, hi a ddywedodd ei fod yn dwyn y diddanwch mwyaf i'w thad, gyd a'i holl deulu, y rhai oeddynt arferol o sôn bob amser am ei fam, a mynych gofio am dani hi, a hi yn unig; "a hyn," eb hi, "a'th wna yn gydradd yn ei olwg ef a'r manteision mwyaf." Yna hi a archodd iddo ei dilyn hi, tra y tywysodd ef at ei thad, heb ewyllysio cadw Laban yn hwy oddiwrth newydd mor hyfryd, trwy oedi ymddangos iddo ef.

Wedi iddi lefaru fel hyn wrtho, hi a'i dug ef at Laban; ac wedi ei gydnabod gan ei ewythr, yr ydoedd yn golygu ei hun yn awr mewn sefyllfa ddiangol, gan ei ddyfod at ei garennydd a'i gyfeillion, i ba rai y parodd ei ddyfodiad annisgwyliadwy fawr lawenydd. Ond ym mhen ychydig ar ol hyn, Laban a ddywedodd wrtho na allai fynegi ei orfoledd ar ei ddyfodiad atto; ond er hynny efe a ymholodd paham y gadawsai ei fam a'i dad oedrannus, pan yr oeddynt mewn cymmaint eisiau o hono i ofalu drostynt; gan addo yn y cyfamser, ei ddiwallu â'r hyn oll a fyddai 'n ddiffyg arno. Yna Jacob a adroddodd iddo yr holl achosion o'i daith ddiweddar, a bod i Isaac ddau o feibion yn efeilliaid, efe ei hun a'i frawd Esau; a darfod i'w frawd, wedi methu am weddiau ei dad, y rhai trwy ddoethineb ei fam a roddasid i fynu drosto ef, geisio ei

ladd ef, ag efe megis wedi ei ddifeddiannu o'r deyrnas* ag oedd i'w rhoddi iddo gan Dduw, ac o'r bendithion am ba rai y gweddiasai ei dad; a hyn ydoedd yr achos o'i ddyfodiad yno, fel y gorchymmynasid iddo gan ei fam. "Canys," eb efe, "brodyr ydym oll i'n gilydd; ond fy mam sydd yn dewis ymgyfathrachu â'ch teulu chwi yn hytrach na theuluoedd y wlad y mae'n byw ynddi; felly yr wyf fi yn edrych arnoch chwi a Duw fel prif olygwyr fy ymdaith, ac yn ystyried fy hun yn ddiogel yn fy amgylchiadau presennol."

Laban yn awr a addawodd ymddwyn yn garuaidd tu ag atto ar gyfrif ei hynafiaid, ac er mwyn ei fam yn enwedigol; at ba un, efe a ddywedodd, y dangosai garedigrwydd er ei bod yn absennol, trwy ofalu am dano ef. Canys efe a sicrhai iddo y gosodai ef yn ben-bugail ar ei braidd, gan roddi awdurdod iddo i'r diben hynny: a phan dueddai i ddychwelyd at ei rieni, yr anfonai ef yn ol gyd ag anrhegion, a hynny mewn ffordd mor anrhydeddus ag yr oedd eu gwaedoliaeth yn gofyn. Jacob a wrandawodd yr addewidion hyn gyd â phleser; ac a ddywedodd y boddlonai i unrhyw lafur a osodid arno tra fyddai gyd ag ef; ond a ddeisyfodd fel gwobr o'i lafur hwnnw, ei gyd-syniad iddo gael Rachel ei ferch yn briod; yr hon nid yn unig ar gyfrifon eraill yr ydoedd yn ei serchu, ond oblegid hefyd mai hi oedd y moddion o'i ddwyn atto ef, a'i fod yn cael ei gymmell o gariad i'r llangces i wneud y cynnygiad hwn iddo. Laban a foddlonodd i'r cyttundeb hwn, ac a gyd-syniodd i roddi ei ferch iddo, os arosai gyd ag ef dros dalm o amser; canys nid oedd efe boddlawn i anfon ei ferch ymaith i blith y Canaaneaid; canys efe a edifarhasai am y gyfathrach a wnaeth efe eisioes yno drwy briodas ei chwaer. Wedi darfod i Jacob wneuthur ei gydsyniad â hyn, efe a gyttunodd i wasanaethu ei dad-ynghyfraith am saith mlynedd; fel trwy gael prawf o'i ffyddlondeb y deallai yn well pa fath wr ydoedd. Wedi i'r amser gosodedig ddyfod i ben, gwnaethpwyd y wledd-briodas gan Laban, yr hwn wedi ei myned yn nos, a osododd ei ferch arall mewn gwely i Jacob, heb ganfod o hono ef, yr hon oedd hynach na Rachel, ac heb harddwch iddi. Jacob a orweddodd gyd â hi y nos honno, ond wedi ei myned yn ddydd, efe a ddeallodd yr hyn a wnaethid ag ef, ac a achwynodd oblegid yr anhegwch a gawsai. Laban a ddeisyfodd arno esgusodi 'r angenrheidrwydd a barasai iddo wneuthur megis ag y gwnaeth; canys dywedodd na roddasai Lea iddo o ran drwg fwriad, ond trwy ei orchfygu gan ryw angenrheidrwydd arall mwy; ac, er gwneuthur felly yn bresennol, na chai dim ei luddias i briodi Rachel; ond wedi y darfyddai iddo wasanaethu saith mlynedd eraill gyd ag ef, y rhoddai iddo yr hon yr oedd yn ei charu. Jacob a ymostyngodd i'r ammod hwn; canys nid oedd ei serch i'r llangces yn caniattau iddo wneuthur yn amgen; ac wedi gorphen y saith mlynedd eraill, efe a gymmerodd Rachel yn wraig iddo.†

Yn awr, i'r rhai hyn yr oedd llaw-forwynion o roddiad eu tad iddynt. Zilpha ydoedd llawforwyn i Lea, a Bilba i Rachel; nid oeddynt gaeth-forwynion,‡ ond gweinidogesau rhydd i'w meistresi. Yn awr Lea ydoedd mewn blinder meddwl o herwydd serchogrwydd ei gwr tu ag at ei chwaer, a hi a ddisgwyliodd ei pherchi yn fwy os dygai blant iddo. Gan hynny hi a weddiodd yn ddibaid at Dduw; ac wedi iddi gael esgor ar fab, a thrwy hynny gymmodi o'i gwr yn fwy â hi, galwodd ei enw Reubel, o herwydd i Dduw gymmeryd trugaredd arni, gan roddi iddi fab; canys dyna yw ystyr yr enw hwn. Wedi talm o amser hi a esgorodd ar dri o feibion eraill; Simeon, yr hwn enw sydd yn arwyddo i Dduw wrando ei gweddi; Lefi, cadarnhawr eu cyfeillgarwch; a Juda, yr hyn sydd yn arwyddo diolchgarwch. Ond a Rachel yn ofni,

* Wrth y difuddiad o'r deyrnas ag oedd i gael ei rhoddi gan Dduw i Esau, fel cyntaf-anedig; fe ymddengys fod Josephus yn meddwl fod y cyfryw deyrnas yn dyfod oddiwrth Dduw i'r hwn a fendithiai Isaac fel ei gyntaf-anedigol: yr hon deyrnas, fel yr wyf yn deall, ydoedd honno a ddisgwylid dan y Messia; yr hwn gan hynny ydoedd i gael ei eni o'i hiliogaeth ef a fendithid felly gan Isaac. Jacob gan hynny trwy etifeddu y fendith hon o eiddo 'r cyntaf-anedig, a ddaeth yn wir etifedd o'r deyrnas honno, mewn gwrthwynebiad i Esau.

† Gen. xxix. 28.

‡ Yma y gwelwn wahaniaeth rhwng caethweision neu forwynion dros eu bywyd, a gwasanaeth-ddynion ag a gyflogir yn awr dros y fath amser ag a gyttunir arno gan bob plaid; pa rai a ollyngir ymaith drachefn wedi terfynu yr amser a bennodwyd; y rhai nid ydynt gaeth, ond yn bersonau rhyddion.

rhag i ffrwythlondeb ei chwaer ddieithro serchiadau Jacob tu ag atti, hi a roddes iddo ei llaw-forwyn Bilba, o'r hon y bu iddo fab a elwid Dan; gellid deongli yr enw yma yn Groeg, Barnedigaeth ddwyfol; ar ei ol ef y ganwyd Nephthalim, fel pe buasai yn anorchfygol mewn cyfrwysdra; gan i Rachel ymdrechu i fuddugoliaethu ar ffrwythlondeb ei chwaer drwy'r cyfrwysedd hwn. Yn ganlynol Lea a ddilynodd yr un drefn, ac a arferodd yr un cyfrwysdra a'r eiddo ei chwaer, canys hi a roddes Zilpha, ei llaw-forwyn ei hun i Jacob, o ba un y cafodd fab, yr hwn a enwyd Gad, yr hyn a ellir ei ddeongl, Bagad. Ac ar ei ol ef Asher, yr hwn a ellir ei ddeongl, dyn dedwydd, o herwydd iddo chwanegu dedwyddwch i Lea.

Yn awr Reubel, hynaf fab Lea, a ddug ffrwythydd mandragorau i'w fam. Pan ganfu Rachel hwynt, hi ddeisyfodd gael o honi hi ymborthi arnynt, oblegid ei bod yn eu chwennychu; ond pan ommeddodd hi, a pheri iddi fod yn foddlon ar ei gwaith yn ei difuddio o'r caredigrwydd oedd yn ddyledus iddi gan ei gwr; Rachel, i'r diben i lareiddio digter ei chwaer, a ddywedodd, y gadawai ei gwr i gyd-orwedd â hi y noson honno. Boddlonodd i'r cynnygiad, a thros amser Jacob a Lea a gyd welŷodd, nes cenhedlu dau o feibion ac un ferch; sef Issacar, yn arwyddo un a anesid wrth gyflogiad; a Zebulon, un a aned fel gwystl o garedigrwydd tu ag atti; a merch a elwid Dina. Ym mhen amser cafodd Rachel fab, yr hwn a gyfenwid Joseph, yn arwyddo y chwanegid arall atto ef.

Yn awr Jacob ydoedd yn porthi praidd Laban trwy gydol yr amser hwn, sef dros ugain mlynedd, yn ol pa amser efe a ddeisyfodd gael cennad i gymmeryd gyd ag ef ei wragedd, a dychwelyd adref; ond pan na chydsyniodd ei dad-ynghyfraith â hynny, efe a arfaethodd ei wneuthur yn ddirgel. Gwnaeth brawf o dueddgarwch ei wragedd, i wybod eu meddyliau hwy am y daith. Wedi ymddangos o honynt yn foddlawn ac yn ewyllysgar iddi, Rachel a gymmerodd gyd â hi ddelwau aur o'r duwiau, y rhai, yn ol eu cyfreithiau, a arferent eu haddoli yn eu gwlad eu hunain; a hi, ynghyd â'i chwaer, a ffoisant ymaith. Eu plant hefyd, a'u llaw-forwynion, a'r cyfryw feddiannau ag oedd ganddynt a gymmerasant gyd â hwynt. Jacob hefyd a yrrodd ymaith hanner yr anifeiliaid, heb wybod o Laban ym mlaen llaw: ond y rheswm paham y cymmerodd Rachel ymaith y duwiau, er ei hannog gan Jacob i ddiystyru y cyfryw addoliad, ydoedd hyn; mai os erlidid ar eu hol gan ei thad, yr elai i ymofyn am nodded gan y duwiau hyn, mewn trefn i gael ei faddeuant.

Laban, yn ol un diwrnod, wedi clywed am ymadawiad Jacob, ynghyd â'i ferched ef, ydoedd mewn mawr flinder, ac a erlidiodd ar eu hol gyd â llu o wŷr yn ei ganlyn; ac efe a'u goddiweddodd y seithfed dydd ar fynydd ag ydoedd yn eu ffordd; ond ni chyffyrddodd y pryd hynny â hwynt, canys yr ydoedd yn hwyr. Duw a safodd yn ei ymyl mewn breuddwyd y noson honno, gan ei rybuddio i ymddwyn at ei fab ynghyfraith a'i ferched mewn dull heddychlon, heb anturio gwneuthur dim yn fyrbwyll, neu mewn llid tu ag attynt, ond ymgyfammodi â Jacob; gan sicrhau iddo os dirmygai eu nifer bychan, ac ymosod arnynt mewn modd rhyfelgar, y byddai iddo ef ei hun eu hamddiffyn hwynt.

Wedi rhag-rybuddio Laban fel hyn gan Dduw, efe a alwodd Jacob atto y dydd nesaf i ymddiddan ag ef, ac a fynegodd pa fath freuddwyd a welsai ymherthynas iddo; mewn canlyniad i ba un y daeth yn hyderus atto, gan ddechreu ei gyhuddo ef, a dadleu iddo ef ei dderbyn, a gwneud ymgeledd iddo pan ydoedd yn dlawd ac mewn eisiau, a chyfrannu yn haelionus iddo o'r hyn oll a feddai. "Canys," eb efe, "mi gyssylltais fy merched ynghyd i ti yn wragedd priodasol, gan feddwl y dangosai dy garedigrwydd i mi yn fwy nag o'r blaen; ond ni wnaethost di gyfrif o berthynas dy fam â mi, nac o'r berthynas nes a aeth rhyngom yn ddiweddar, na'th berthynas â'r gwragedd neu'r plant hyn, y rhai yr ydwyf fi yn daid iddynt. Tydi a'm triniaist megis gelyn, wrth yrru fy nâ ymaith, a thrwy berswadio fy merched hyn i ffoi oddiwrth eu tad; ac hefyd wrth gymmeryd gyd â chwi i'ch cartref y delwau cyssegrol a addolid gan fy

nheidiau, a'r rhai a anrhydeddid ag addoliad gennyf fy hun. Yn fyrr, ti wnaethost hyn, a thi yn garennydd agos i mi, yn fab fy chwaer, ac yn ŵr i'm merched, ac wedi derbyn triniaeth roesawgar gennyf, ac ymborthi ar fy mwrdd."

Wedi llafaru o Laban y modd hwn, Jacob a'i hattebodd mewn amddiffyniad o hono ei hun; mai nid efe yn unig ydoedd y person ym mha un y gosodasai Duw gariad i'w wlad enedigol, ond ei fod wedi ei wneud yn naturiol i bob dyn; ac o herwydd hynny nad ydoedd ond rhesymmol, yn ol cymmaint o arosiad, iddo ef ddychwelyd yn ol. "Ond am yr ysglyfaeth," eb efe, "a gymmerwyd ymaith, pa rai yr wyt yn fy nghyhuddo o'u plegyd, pe rhyw un arall a fuasai yn farnwr ti a gawsid yn gwneuthur ar gam; canys yn lle y diolchiadau a ddylaswn gael gennyt, yn gystal am ddiogelu dy braidd a pheri cynnydd iddynt, pa fodd y mae dy fod yn anghyfiawn yn ddig wrthyf, am gymmeryd i mi ran mor fychan o honynt: Ac am dy ferched, nid o herwydd unrhyw ddrwg ymarferiadau ynof fi y maent yn fy nilyn ar fy nychweliad adref; ond oblegid y serchogrwydd cyfiawn ag sydd yn naturiol mewn gwragedd tu ag at eu gwŷr; maent yn dilyn, gan hynny, nid mor briodol myfi, ond eu plant eu hunain." Mor bell a hyn y gwnaeth ei amddiffyniad mewn trefn i'w glirio ei hun oddiwrth yr achwyniad o anghyfiawnder; at yr hyn y chwanegodd ei achwyniaeth ei hun a'i gyhuddiad o Laban, gan ddywedyd, "Pan yr oeddwn yn fab dy chwaer, a'th ferched wedi eu rhoddi i mi mewn cwlwm priodasol, ti a beraist im' dreulio allan fy nerth â'th lywodraeth drom arnaf, gan fy nghadw dani am ugain mlynedd; yr hyn yn wir a ofynwyd gennyf mewn trefn i briodi dy ferched, er mor galed a fu, yr wyf yn cyfaddef ei fod yn oddefol; ond am yr hyn a osodwyd arnaf yn ol hynny fe brofodd yn waeth, a'r cyfryw ag y buasai gelyn yn ei ochelyd." Yn sicr yr ydoedd Laban wedi ymddwyn at Jacob yn dra anweddus: canys pan welodd fod Duw yn ei lwyddo ym mha beth bynnag a driniai, efe a addawodd iddo o'r praidd ieuaingc a fyddai rhagllaw; weithiau y rhai a fyddent o liw gwŷn, waith arall o liw du; ond wedi i'r rhai a ddeuent i ran Jacob fyned yn lliosog, ni safodd at ei addewid ag ef, ond a ddyedai y rhoddid hwy iddo y flwyddyn ganlynol, a hyn oblegid ei eiddigedd tu ag atto, am dybied o hono nad oedd y fath gynnydd i'w ddisgwyl: ond pan ymddangosodd ei fod yn wir, efe a'i twyllai drachefn â'r cyfryw gau-addewidion.

Ond ymherthynas i'r delwau cyssegredig, parodd Jacob iddo chwilio am danynt; a Laban wedi cyd-uno i hynny, a'i wneud yn hyspys i Rachel, hi a gymmerodd y delwau ac a'u gosododd hwynt yn offer y camel ar ba un y marchogai, ac a eisteddodd arno, a thrwy ymesgusodiad* amserol, a ddiangodd rhag gorfod cyfodi; felly Laban a adawodd yn llonydd chwilio ymhellach, heb feddwl y cuddiasid ei ddelwau gan ei ferch. Efe yn ol hynny a wnaeth gyfammod â Jacob, na fyddai iddo ddwyn malais atto ar gyfrif yr hyn a ddamweiniodd; a Jacob a wnaeth gyffelyb gyngrair ag ef, gan addaw bod yn garedig i ferched Laban; a'r cyfammodau hyn a gadarnhawyd trwy lŵon ar fynydd, ar ba un yr ymgyfarfuasent, lle hefyd y gosodasant i fynu golofn ar lun allor, ac y galwyd y lle hwnnw mynydd Gilead, a'r ardaloedd o'i amgylch yn wlad Gilead hyd y dydd hwn. Yn awr wedi gwledda o honynt, ar ol ymgyfammodi â'u gilydd, Laban a ddychwelodd i'w gartref ei hun.†

## PENNOD XX.

*Am ymgyfarfod Jacob â'i frawd Esau.*

YN awr a Jacob yn myned rhagddo yn ei daith i wlad Canaan, ymddangosodd angylion iddo, gan adgoffa y gobaith da oedd iddo yn ei amgylchiad canlynol; a'r lle hwnnw a alwodd efe, Gwersyll Duw; a chan ddymuno gwybod am fwriadau ei frawd tu ag atto, efe a anfonodd genhadon o'i flaen, er deall yn well ei agwedd a'i sefyllfa, gan ei fod yn ei ofni, o herwydd y gelyniaeth a gymmerasai le gynt rhyngddynt. Efe a orchymmynodd i'r rhai a ddanfonwyd at Esau i ddywedyd wrtho, ddarfod "i Jacob farnu

* Gen. xxxi. 35.

† Gen. xxxi. 55.

yn anghymmwys i gyd-fyw ag ef, tra 'r ydoedd yn llidiog tu ag atto, ac oblegid hynny orfod iddo adael ei wlad; ond yn awr gan dybied fod amser ei absennoldeb wedi diddymmu 'r ymrafael a aethai rhyngddynt, ei fod yn dychwelyd; a dyfod gyd ag ef ei wragedd a'i blant, a'r cyfryw eiddo ag a ennillasai, ac yn rhoddi ei hun i fynu, gyd â'r cwbl ag oedd anwyl ganddo, i'w ddwylaw ef; ac y cyfrifai yn hapusrwydd mwyaf i gyfrannogi gyd â'i frawd, o'r hyn a roddasai Duw iddo ef.

Wedi traddodi y neges hwn, yr ydoedd yn llawen gan Esau, ac a aeth gyd â phedwar cant o wŷr i gyfarfod â'i frawd: ond pan glybu Jacob ei fod yn dyfod â'r fath nifer gyd ag ef, yr ydoedd yn dra ofnus. Pa fodd bynnag efe a orchymmynodd ei obaith o waredigaeth i Dduw; ac a ystyriodd pa fodd yn ei amgylchiad presennol i'w amddiffyn ei hun, a'r rhai oedd gyd âg ef, ac i orchfygu ei elynion, os ymosodent arno er ei niweid. Efe gan hynny a ddosparthodd ei deulu a'r bobl oedd gyd ag ef yn rhaniadau, gan osod y naill o flaen y lleill, a gorchymmyn i eraill ddilyn yn gyfagos o'u hol; fel os trechid y rhai cyntaf, pan ymosodid arnynt, y byddai y rhai a'u dilynent yn noddfa i ffoi attynt: ac wedi dodi ei dyrfa mewn trefn, efe a ddanfonodd rai o'r blaen ag anrhegion o amryw fath o greaduriaid pedwar-carnol i'w frawd, y cyfryw, o herwydd anamldra eu rhywogaeth, ag a fuasai gymmeradwy gan y derbynwyr. Y rhai anfonedig a aethant ym mlaen mewn ychydig o ffordd i'w gilydd, fel wrth ganlyn yn aml y naill ar ol y llall, yr ymddangosent yn fwy o nifer, i'r diben i larieiddio llid Esau trwyddynt, os ydoedd efe etto yn anheddychlon. Cyfarwyddwyd hefyd y rhai a anfonasid i lefaru yn ostyngedig wrtho.

Wedi gwneuthur trefniadau gan Jacob yn y modd hwn, a'r nos yn dyfod ym mlaen, dechreuodd symmud ei lu; ac fel yr aethant dros afon Jabboc, gadawyd Jacob ar ol; a chan gyfarfod ag angel efe a ymdrechodd ag ef, yr hwn a ddechreuodd yr ymdrech, ac a gafodd nerth i orchfygu 'r angel, yr hwn a lefarasai wrtho drwy lais a geiriau dynol, yn ei annog i ymfoddloni yn yr hyn a ddigwyddai iddo, ac i beidio a dychymmygu ei fuddugoliaeth bresennol fel peth cyffredin, ond ei ystyried yn oruchafiaeth ar angel dwyfol, a'i olygu yn arwydd neu wystl o fendithion helaeth a ddenai iddo ef; na fethai ei hiliogaeth, ac na wrthwynebid ei awdurdod ef gan neb dynol. Gorchymmynodd hefyd ei alw ef Israel, * yr hyn yn Hebraeg sydd yn arwyddoccâu un a ymdrechodd ag angel dwyfol. Yr addewidion hyn a wnaethpwyd ar daer ymbiliau Jacob; canys pan wybu efe mai angel Duw ydoedd, efe a ddeisyfodd arno arwyddo pa fodd a fyddai arno yn ol hyn; a phan adroddodd yr angel yr hyn a fynegwyd o'r blaen, efe a ddiflannodd o'i olwg. Jacob a gyssurwyd wrth y pethau hyn, ac a enwodd y lle Phanuel, yr hyn sydd yn arwyddo Wyneb Duw. Ond pan deimlodd trwy 'r ymdrech hwn boen oddiwrth y gewyn a giliodd ynghysswllt ei forddwyd, efe a ymgadwodd rhag bwytta o'r gewyn hwnnw rhag llaw; ac er ei fwyn ef nis bwytteir gennym ni hyd y pryd hyn. †

Pan ddeallodd Jacob fod ei frawd yn agoshau, efe a orchymmynodd i'r gwragedd fyned ym mlaen, bob rhai wrthynt eu hunain, ynghyd â'r llaw-forwynion, fel y canfyddent ymdrechiadau y gwŷr mewn brwydr, os tueddai Esau i hynny. Yna efe a aeth ac a ymgrymmodd i lawr i'w frawd Esau, yr hwn nid oedd ganddo ddim bwriad drwg i'w erbyn, ond a'i cofleidiodd, gan ymholi ynghylch y lliaws o wragedd a phlant oedd gyd ag ef; ac a ddymunodd, yn ol gwybod eu hamgylchiad, ar fod iddo gyd ymdaith ag ef nes dyfod o honynt at eu tad: ond Jacob a gymmerodd arno fod y praidd yn lluddiedig; yna Esau a ddychwelodd i Sier, gan mai yno yr oedd ei breswylfa ef, yr hwn a alwasai gerwindeb, oddiwrth ei erwindeb blewog ei hun.

## PENNOD XXI.

### *Am y Trais ar Ddiweirdeb Dina.*

Yn ol yr ymweliad uchod, Jacob a ddaeth i'r lle a elwid hyd y pryd hyn Succoth, neu le y

* Ysgatfydd mai hyn yw iawn ystyr y gair Israel, yn ol cyssondeb hynafol a phresennol yr iaith Hebraeg. Ond y mae 'n sicr fod yr Heleniaid, dysgedigion y ganrif gyntaf, yn yr Aipht a mannau eraill, yn deongli Is-ra-el, dyn a welodd Dduw.

† Gen. xxxii. 32.

Pebyll, o ba le yr aeth i Shechem, dinas y Canaaneaid. Yn awr fel ag yr oedd y Shechemiaid yn cadw gwyl, Dina yr hon ydoedd unig ferch Jacob, a aeth i'r ddinas i weled merched y wlad; ond Shechem, mab Hamor y brenhin, pan welodd hi, a'i halogodd trwy drais; ag a chanddo serch mawr tu ag atti, efe a ddeisyfodd ar ei dad ei cheisio yn wraig briodasol iddo. Hamor a gyd-syniodd â'r deisyfiad hwn, ac a ddaeth at Jacob, gan erfyn arno ganiattau i'w fab, yn ol trefn y gyfraith, i briodi ei ferch ef; a Jacob heb wybod pa fodd i ommedd deisyfiad un o radd mor uchel, ac etto yn ei farnu yn anghyfreithlon i briodi ei ferch ag un o genedl ddieithr, a ddymunodd seibiant i ystyried y matter hwn. Felly y brenin a aeth ymaith, gan obeithio y boddlonai Jacob i'r briodas hon; eithr Jacob a hyspysodd i'w feibion y modd yr halogasid eu chwaer, ac am ofyniad Hamor iddo o'i phlegid hi; gan ewyllysio cael eu cyngor hwynt i wybod pa beth a wnelent. Wrth hyn ni ynganasant ddim, a'r rhan fwyaf heb wybod pa gyngor i'w roddi; ond Simeon a Lefi, brodyr un-fam a'r llangces, a gyttunasant rhyngddynt a hwy eu hunain ar y weithred ganlynol: gan mai gŵyl ydoedd yn awr, ym mha un y caid y Shechemiaid mewn gloddest ac esmwythder, hwy a syrthiasant ar y gwilwyr liw nos a hwy yn cysgu, ac wedi myned i'r ddinas,* lladdasant yr holl wrrywiaid, megis hefyd y brenin a'i fab gyd â hwynt, ond a arbedasant y menywaid; ac wedi gwneuthur o honynt hyn, heb gyd-syniad eu tad, hwy a ddygasant eu chwaer ymaith.

Yn awr wedi synnu o Jacob wrth y weithred echrydus hon, a beïo ei feibion yn llym am ei chyflawni, Duw a safodd yn ei ymmyl, † ac a barodd iddo ymgryfhau, ac ymlanhau a phuro ei bebyll, ac offrymmu yr aberthau a addunedasai yn ei fynediad tu a Mesopotamia, ac y cafodd y weledigaeth. Fel yr ydoedd gan hynny yn puro ei ganlynwyr, efe a gafodd dduwiau Laban, (canys ni wyddai cyn hyn ddarfod eu lladratta hwynt gan Rachel,) ac a'u cuddiodd yn y ddaear dan dderwen yn Shechem; ac wedi ymadael ymaith efe a ddaeth ac a offrymodd aberth yn Bethel, y lle ag y gwelsai ei weledigaeth yn ei fynediad cyntaf i Mesopotamia.

Wedi ei fyned oddi yno, a dyfod drosodd gyferbyn ag Ephrata, yno y claddodd ef Rachel,‡ yr hon a fuasai farw mewn esgoreddfa; a hi ydoedd yr unig un o garennydd Jacob a'r na chladdwyd yn Hebron; ac wedi galaru o hono am dani dros hir amser, efe a alwodd y mab a anesid o honi Benjamin, § o herwydd y cyfyngder y buasai ei fam ynddo ar ei enedigaeth. Dyma holl blant Jacob, deuddeg mab ac un ferch; wyth o ba rai oedd o'r gwragedd priodasol, sef, chwech o Lea, a dau o Rachel; pedwar ydoedd o'r llaw-forwynion, dau o bob un, enwau pa rai a osodwyd i lawr yn barod.

## PENNOD XXII.

*Am farwolaeth Isaac, a'i gladdedigaeth yn Hebron.*

ODDI yno Jacob a ymdeithiodd hyd yn Hebron, dinas a'i sefyllfa ym mysg y Canaaneaid, a phreswylfod Isaac; ac yno y buont yn cyd-fyw dros ychydig amser; canys am Rebecca, ni chafodd Jacob mo honi yn fyw. Cyn hir amser bu farw Isaac hefyd yn ol dychweliad ei fab, ac a gladdwyd gyd â'i wraig yn Hebron, ym mha le yr oedd bedd-faen perthynol i'r teulu oddiwrth eu hynafiaid. Yn awr Isaac ydoedd ddyn a garid gan Dduw, ac a fwynhaodd gyfraniadau helaeth o ddaioni ei ragluniaeth yn ol dyddiau ei dad Abraham, ac a fu fyw i oedran mawr; canys wedi treulio cant a phedwar ugain a phump o flynyddau mewn rhinwedd a daioni, efe a fu farw.

* Paham yr esgeulusodd Josephus grybwyll am enwaediad y Shechemiaid hyn, megis yr achlysur o'u marwolaeth; ac am fawr ofid Jacob o'i herwydd, megis y dywed testament Lefi, ni fedraf ddywedyd.

† Gen. xxxv. 1. ‡ Gen. xxxv. 19.

§ Megis y mae Benoni yn arwyddo mab fy ngalar, a Benjamin mab fy nyddiau, neu un wedi ei eni yn nyddiau henaint ei dad, Gen. xliv. 20. yr wyf yn golygu yr argraphiadau diweddar o waith Josephus yn amherffaith, ac yn dychymmygu, mewn cyferbyniad â chopiau eraill iddo nodi, ddarfod i Rachel enwi ei mab Benoni, ond ei dad a'i galwodd Benjamin, Gen. xxxv. 18. Ymherthynas i Benjamin, fel ag y deonglir yn gyffredin, mab fy neheulaw, nid yw o synwyr priodol, ond sydd yn ymddangos yn gyfeiliorni hollol. Y mae y Samariaid yn oestad yn iawn nodi 'r enw hwn Benjamin, yr hwn o bossibl sydd yma o'r unrhyw ystyriaeth, ond yn unig gyd â'r gair-derfyniad IN yn y Caldeaeg, yn lle y terfyniad IM yn yr Hebraeg.

# LLYFR II.

*Yn cynnwys Amseriad 220 o Flynyddau.*

O FARWOLAETH ISAAC, HYD Y MYNEDIAD ALLAN O'R AIPHT.

## PENNOD I.

*Am raniadau Preswylfeydd Esau a Jacob, trwy'r hyn yr etifeddodd y cyntaf Idumea, a'r diweddaf Canaan.*

WEDI marwolaeth Isaac, ei feibion a ranasant yr etifeddiaethau perthynol iddynt, heb ofalu cadw yn eu meddiant yr hyn oedd ganddynt o'r blaen: ond Esau a ymadawodd o ddinas Hebron, gan ei gadael i'w frawd; ac efe a drigodd yn Sier, ac a lywodraethodd ar Idumea; pa ryw wlad a alwodd felly oddiwrth ei enw ei hun; canys efe a gyfenwyd Adom ar yr achos canlynol: Dychwelasai un tro o'r swydd o helwriaeth yn dra newynllyd, pan nad ydoedd ond plentyn mewn oedran, ac a gyfarfu â'i frawd yn parottoi cawl manbys i giniaw; yr ydoedd o liw tra choch, ar ba gyfrif efe a'i chwennychodd yn fwy, ac a ddymunodd beth o hono i'w fwytta. Ond Jacob a gymmerodd fantais oddiwrth newyn ei frawd, gan ei gymmell i roddi i fynu ei enedigaethfraint; ac efe a chwant bwyd arno a foddlonodd ei gollwng iddo ef, gan wneuthur llw ar hynny. Oddi yma 'r ydoedd, o herwydd cochni y cawl hwn, ddarfod i'w gyfoedion, mewn ffordd o gellwair, ei alw Adom; canys yr Hebreaid a alwant yr hyn sydd goch Adom; a dyna yr enw a roddwyd i'r wlad hon. Ond y Groegiaid a roddsant enw â swniad godidoccach iddi, ac a'i galwasant Idumea.

Efe a ddaeth yn dad i bump o feibion, o ba rai Jaus, Jolomus, a Coreus ydoedd o un wraig, enw 'r hon oedd Alibama; eithr am y lleill, Aliphaz a anwyd iddo o Ada, a Ragnel o Basemath; a'r rhai hyn oeddynt feibion Esau. I Aliphaz yr ydoedd pump o feibion cyfreithlon; Theman, Homer, Sapphus, Gotham, a Kanas; canys Amalech nid ydoedd fab cyfreithlon, ond o ordderch-wraig, enw pa un oedd Thamna. Y rhai hyn a drigasant yn y rhan hynny o Idumea a elwid Gebelatis; a'r hyn a darddodd oddiwrth Amalech, Amalechiaid; canys yr ydoedd Idumea yn wlad ëang, ac yn cynnwys yr enwau eraill oll; tra yn ei gwahanol barthau yr ydoedd yn cynnal enwau ei hamrywiol drigolion.

## PENNOD II.

*Am Joseph anwyl fab Jacob, ac eiddigedd ei frodyr tu ag atto.*

DIGWYDDODD ddarfod i Jacob gael y fath lwyddiant yn ei sefyllfa, na chyrhaeddodd eraill i'r cyffelyb ond yn anaml; yr ydoedd yn gyfoethoccach na nemmawr eraill o drigolion y wlad; ac ar unwaith a gynfigennid ac a ryfeddid oblegid rhinwedd ei feibion; canys nid oeddynt ddiffygiol mewn dim; ond oeddent o fawr rymmusder i lafurio â'u dwylaw, a dioddef lludded, a thra chyflym a chyfrwysgall yn eu dealltwriaethau. A Duw a arferodd y fath ragluniaeth drosto, a'r fath ofal dros ei ddedwyddwch, a dwyn arno y bendithion mwyaf, ïe o'r hyn a ymddangosai i beri iddo yr anghyssur mwyaf; a'i wneuthur yn achos o waredigaeth ein henafiaid o'r Aipht; efe, meddaf, a'i hiliogaeth. Yr achlysur ydoedd hwn: wedi cael o Jacob ei fab hwn Joseph, a'i eni o Rachel, ei dad a'i carodd uwchlaw eraill o'i frodyr, yn gystal oblegid prydferthwch ei gorph, a rhinwedd ei synhwyrau; canys yr oedd yn rhagori ar y lleill mewn

pwyll a dealldwriaeth. Y caredigrwydd hwn o'r eiddo ei dad tu ag atto a ennynodd eiddigedd a chasineb iddo yn ei frodyr, megis hefyd y darfu ei freuddwydion a adroddai efe i'w dad ac iddynt hwythau; yr hyn ydoedd yn rhag-ddangos ei ddedwyddwch mewn amser i ddyfod: y modd hwn y mae 'n arferol i ddynolryw gynfigennu wrth lwyddiant eu perthynasau agosaf. Yn awr y gweledigaethau a gafodd Joseph yn ei gwsg ydoedd y rhai hyn:

Pan oeddynt ar ganol cynhauaf, a Joseph wedi ei anfon gyd â'i frodyr i gynnull ffrwythau 'r ddaear, efe a welodd weledigaeth mewn breuddwyd, yn rhagori yn fawr ar ymddangosiadau eraill pan fyddom yn cysgu; yr hyn wedi iddo godi o'i orweddfa a fynegodd i'w frodyr, gan adael iddynt farnu pa beth a allent arwyddo. Dywedodd, weled o hono ef y nos ddiweddaf, ei ysgyb wenith ef yn sefyll ynghanol y maes, yn y lle y gosodasai hi; a bod eu hysgubau hwy yn dyfod ac yn ymgrymmu iddi, megis gwasanaethwyr yn ymgrymmu i'w meistriaid.* Ond mor gynted ag y deallasant fod y weledigaeth yn rhag-ddangos y byddai iddo ef feddiannu awdurdod a chyfoeth mawr, ac y byddai ei lywodraeth mewn cyferbyniad i'r eiddynt hwy, ni roddasant unrhyw ddeongliad o hono i Joseph, megis pe nas deallasant yr arwydd o hono. Ond hwy a ddeisyfasant na fyddai un rhan o'r hyn a feddyliasant fod yn perthyn iddo gael ei gyflawni: a'u casineb a chwanegwyd a herwydd yr adroddiad hwn.

Eithr Duw, yngwrthwyneb i'w cynfigen, a drefnodd ail weledigaeth i Joseph, yr hon ydoedd fwy hynod na 'r gyntaf: canys fe ymddangosodd iddo yr Haul, y lleuad, a'r sêr yn disgyn i lawr i'r ddaear, ac yn ymgrymmu iddo ef.† Adroddodd y weledigaeth hon i'w dad, a hynny heb feddwl am ddim drwg fwriad yn ei frodyr tu ag atto, y rhai hefyd oeddynt yn bresennol, gan ddymuno i'w dad ei ddeongli iddo. Yn awr Jacob a siriolodd wrth wrando am y breuddwyd hwn; canys ag efe yn ystyried ei arwyddocâd yn ei feddwl, a lawenychodd oblegid y pethau mawrion yr oedd yn ei ragfynegi, a'r derchafiad mewn amser i ddyfod a fyddai i'w fab; ac, trwy fendith Duw, yr anrhydeddid ef, ac yr ymgrymmid iddo gan ei rieni a'i frodyr: Meddyliodd wrth y lleuad a'r haul, mai tebyg i'w fam a'i dad oeddynt—y gyntaf megis ag yr oedd yn rhoddi cynnydd a maeth i bethau daearol; a'r ail, megis ag y mae 'n ei ffurfio ac yn rhoddi grym a bywiogrwydd ynddynt; a bod y sêr yn cysgodi ei frodyr, gan mai un ar ddeg oeddynt mewn nifer, fel, ag y mae y sêr yn derbyn eu grymmusder a'u goleuni oddiwrth yr haul a'r lleuad.

Ac fel hyn y gwnaeth Jacob ddefnydd synnwyr-gall o'r weledigaeth; ond y deongliadau hyn a barodd fawr flinder i frodyr Joseph; ac yr oedd eu hymddygiad o'u herwydd tu ag atto fel un deithrol a dderbyniai y cyfryw bethau daionus ag oedd ei freuddwydion yn arwyddo, ac nid fel un ag oedd yn frawd iddynt, gyd â'r hwn yr oedd yn bossibl iddynt gael cyd-gyfrannogi; ac fel yr oeddynt yn gyfrannogion o'r un berthynas, y gallent fod felly hefyd o'r un dedwyddwch. Arfaethasant hefyd ladd y llangc; ac wedi penderfynu cyflawni eu hamcan, cyn gynted ag y casglasant eu ffrwythau ynghyd hwy aethant i Shechem, yr hon oedd wlad dda er cynnal eu hanifeiliaid â phorfeydd; yno y porthasant eu hanifeiliaid, heb wneud eu tad yn hyspys o'u symmudiad. Jacob gan hynny ydoedd mewn meddylfryd anniofal, ac yn anwybodus o amgylchiad ei feibion; ac heb dderbyn dim hyspysrwydd am y praidd a allai roddi boddlonrwydd iddo, efe a anfonodd Joseph i wybod pa amgylchiad yr oedd ei frodyr ynddo, ac i ddwyn gair yn ol ymherthynas i'w helynt.

## PENNOD III.

*Am driniaeth greulon Joseph gan ei Frodyr, ei gaethiwed, a'i fawredd yn ganlynol yn yr Aipht.*

YN awr y brodyr hyn a lawenychasant pan welsant eu brawd yn dyfod attynt; nid, yn wir megis wrth ganfod perthynas agos, neu fel un a anfonasid gan eu tad; ond megis wrth bresen-

* Gen. xxxvii. 7. † Gen. xxxvii. 9.

‡ Gen. xxxvii.

noldeb gelyn; ac fel un a roddasid i fynu i'w dwylaw hwynt gan ddwyfol ragluniaeth; a hwy eisioes wedi penderfynu ei ladd ef, a pheidio gadael i'r cyfleusdra fyned heibio ag ydoedd o'u blaen hwynt. Ond wedi gweled o Reubel, y brawd hynaf, eu bod yn tueddu y modd hwn, a chyd-gyttuno o honynt i gyflawni eu hamcan, efe a ymdrechodd i'w hattal hwynt, gan ddangos echryslondeb yr anturiaeth yr oeddynt yn myned yn ei gylch, a'r natur ddychrynllyd o hono: yr ymddangosai y weithred yma yn ddrygionus yngolwg Duw, ac yn annuwiol ger bron dynion, ïe pe lladdent un heb fod o berthynas iddynt; ond ei fod yn dangos yn fwy ysgeler a ffiaidd i ladd eu brawd eu hun; trwy 'r hyn yr ymddygent yn anghyfiawn i'w tad yn llofruddiaeth ei fab, ac y dodent y fam* hefyd mewn trallod tra fyddai 'n galaru o herwydd cymmeryd ei mab ymaith oddiwrthi, a hynny heb fod mewn dull cyffredin. Efe gan hynny a ymbiliodd ar iddynt wrando llais eu cydwybodau, a doeth-ystyried pa ddialedd a'u goddiweddai hwynt ar farwolaeth plentyn mor dda, a'u brawd ieuangaf; a bod hefyd iddynt ofni Duw, yr hwn oedd eisoes wedi canfod a deall eu bwriadau yn erbyn eu brawd; y byddai drugarog wrthynt os ymgadwent rhag y weithred hon, ac ymroddi i edifeirwch a gwellhad. Ond os ym mlaen i gyflawni y weithred yr aent, pob rhyw a math o gospedigaethau a'u goddiweddai oddiwrth Dduw; gan eu bod yn troseddu yn erbyn ei lywodraeth a'i ragluniaeth, ag ydoedd yn bresennol ym mhob lle, a'r hon nid oedd yn edrych dros beth bynnag a wnaid yn y diffeithwch a'r dinasoedd. Canys pa le bynnag y byddo dyn, yno y dylai ystyried fod Duw hefyd. Dywedodd ymhellach y byddai eu cydwybodau yn elynion iddynt, os anturient fyned ym mlaen â gwaith mor ddrygionus; y rhai ni allent byth ymogelyd rhagddynt, pa un bynnag ai cydwybod dda neu ddrwg a fyddai, y cyfryw ag a'u meddiannai wrth ladd eu brawd. Efe a chwanegodd hefyd, nad peth cyfiawn ydoedd iddynt ladd eu brawd, er pe gwnaethai niweid iddynt; mai da ydoedd anghofio gweithredoedd cyfeillion mor agos, a ymddangosai hyd yn oed yn tueddu i'n niweidio: ond eu bod yn myned i ladd Joseph, yr hwn ni fuasai 'n euog o ddim ag ydoedd ddrwg i'w herbyn, ymherthynas i gyflwr pa un, y dylai gwendidau ei ieuengctid annog eu trugaredd tu ag atto, a'u cymmell i uno mewn gofal am ei ddiogelwch. Fe sylwiodd hefyd, fod achos ei lofruddiaeth yn gwaethygu y weithred yn fawr, pan benderfynasent ei gymmeryd ymaith o genfigen wrth ei lwyddiant mewn amser i ddyfod, cyfran o ba un a fuasent hwy debygol o gael tra byddai yn ei fwynhau; gan nad dieithriaid oeddynt iddo, ond y perthynasau agosaf; canys hwy a allent gyfrif yr hyn a gyfrannai Duw i Joseph fel yr eiddynt eu hun; a'i fod yn angenrheidiol iddynt gredu y byddai digofaint Duw o herwydd hyn yn llymmach yn eu herbyn os lladdent yr un a farnid gan Dduw yn deilwng o'r llwyddiant ag ydoedd i obeithio am dano; a phan ddygent ymaith ei fywyd ef, eu bod yn ei wneud yn ammhosibl i Dduw gyfrannu y fath fendithion arno ef.

Reubel a lefarodd hyn, ac amryw bethau eraill wrthynt, ac a wnaeth ymbiliau er eu lluddias i fod yn llofryddion i'w brawd; ond pan welodd ei ymddiddanion yn aneffeithiol i'w tyneru hwynt, a'u bod yn ymbarottoi i'r weithred, efe a'u hannogodd i esmwythau 'r drygioni yr oeddynt yn myned yn ei gylch mewn trefn i ddwyn bywyd Joseph: canys fel y cyngorasai hwynt ar y cyntaf, pan oeddynt am ymddial eu hunain, i newid eu hamcan am lofruddiaeth eu brawd; felly gan fod y ddedryd ymherthynas i hynny wedi cael lle, dywedodd na fyddent mor gwbl euog, os gellid eu perswadio i ddilyn ei gyngor presennol, yr hyn a gynnwysai y peth ag oeddynt mor awyddus iddo, ond nad ydoedd yn hollol mor ddrwg, eithr yn eu sefyllfa bresennol o nattur esmwythach. Cynghorodd hwynt i beidio tywallt gwaed eu brawd â'u dwylaw eu

* Gallwn sylwi yma, mai mewn cyfattebiad i ail freuddwyd Joseph, pa un oedd yn arwyddo y byddai i'w fam, ag ydoedd y pryd hynny yn fyw, yn gystal a'i dad, ddyfod i ymgrymmu iddo ef, y mae Josephus yn ei phresenoli yma megis yn fyw pan ydoedd wedi marw, er addurno 'r weledigaeth ag ydoedd yn ei ragfynegi, fel ag y mae deongliad y breuddwyd yn gwneud hefyd yn ein holl argraffiadau ni, Gen. xxxvii. 21.

hun, ond bod iddynt ei fwrw i'r pydew ag ydoedd gerllaw, a gadael iddo drengu yno, trwy yr hyn y diangent rhag halogi eu dwylaw eu hunain â'i waed ef. I hyn y dangosodd y gŵŷr ieuaingc barodrwydd i gyttuno; felly Reubel a gymmerodd y bachgenyn, ac a'i rhwymodd wrth ràff, gan ei ollwng yn araf i lawr i'r pydew, yr hwn oeddheb ddwfr ynddo; ac wedi gwneuthur hyn efe a aeth ac a giliodd ymaith i chwilio am y fath borfeydd ag oedd gymmwys i borthi eu praidd.

Ond Judas, yr hwn hefyd oedd un o feibion Jacob, wrth ganfod rhaiArabiaid o hiliogaeth Ismael yn myned heibio, ac yn dwyn gyd â hwynt bêr-lysiau a nwyfau eraill o dir Gilead i'r Aipht, yn ol ymadawiad Reubel, a gynghorodd ei frodyr i gymmeryd Joseph allan o'r pydew, a'i werthu i'r Arabiaid; canys os byddai farw ym mhlith dieithriaid mewn gwlad bellennig, yna y byddent hwy yn rhydd oddiwrth y weithred farbaraidd hon. Hyn gan hynny a benderfynasant ei wneuthur; felly hwy a godasant Joseph i fynu o'r pydew, ac a'i gwerthasant i'r marchnadyddion am ugain punt.* Yr ydoedd efe yn awr yn ddwy flwydd ar bymtheg o oedran. Ond Reubel gwedi dychwelyd yn y nos at y pydew, a fwriadodd achub Joseph, heb amlygu i'w frodyr; a phan, ac efe yn galw arno, na wnaeth un attebiad, yr ydoedd yn ofni ddifetha o-honynt ef wedi ei fyned ymaith; efe yn ganlynol a achwynodd oblegid hyn wrth ei frodyr, ond a ddistawyd wedi mynegi o honynt yr hyn a wnaethent.

Wedi i frodyr Joseph wneuthur yn y modd hwn ag ef, hwy a ystyriasant pa fodd y diangent rhag amheuaeth eu tad yng nghylch Joseph. Yn awr hwy a gymmerasant oddiwrtho y siacced ag ydoedd am dano ar ei ddyfodiad attynt, yr amser y bwriasent ef i'r pydew; a hwy a dybiasant yn gymmwys rwygo y wisg honno yn ddarnau, ac a'i trochasant mewn gwaed geifr, ac yna ei dwyn at, a'i dangos i'w tad, fel y byddai iddo gredu ei ddifetha ef gan fwystfilod gwylltion; a phan wnaethant felly, daethant at yr hen ŵr, ond nid cyn dyfod i'w wybodaeth ef yr hyn a ddigwyddasai i'w fab. Yna dywedasant na welsent hwy mo Joseph, ac na wyddent pa anhap a ddigwyddasai iddo, eithr ddarfod iddynt gael ei siacced yn waedlyd, ac wedi ei rhwygo yn ddrylliau, o achos paham y dychymmygasant syrthio o hono ymmhlith bwystfilod gwylltion, ac felly ddarfod am dano,--os honno ydoedd y siacced y cychwynasai ynddi oddi cartref. Yr ydoedd gan Jacob o'r blaen beth cadarnach gobaith am ei fab, na wnaethid ond yn unig ei gymmeryd yn gaethwas; ond yn awr fe ddododd heibio y dychymmyg hwnnw, ac a ystyriodd y siacced yn ei threfn bresennol fel arwydd ddigonol o'i farwolaeth; canys fe wyddai yn dda mai honno oedd y siacced a wisgai am dano pan anfonasai ef at ei frodyr. Efe gan hynny a alarodd am ei fab fel un yn awr wedi ei farw, ac fel pe na buasai yn dad ond i un, heb gymmeryd dim cyssur oddiwrth y rhai eraill; ac felly 'r ydoedd wedi ei gyffroi gan y ddiweddar ddamwain, cyn cyfarfod o hono â brodyr Joseph, pa amser y penderfynodd hefyd ddarfod difetha Joseph gan fwystfilod. Yna efe a eisteddodd yn athrist wedi ymwisgo mewn sachliain, ac mewn galar trwm, yn gymmaint ag na chafodd ddim esmwythder pan ymdrechid i'w gyssuro ef† gan ei feibion; ac ni leihawyd ei dristwch ychwaith gan feithder amser.

## PENNOD IV.

### *Am hynod ddiweirdeb Joseph.*

YN awr Potiphar, Aiphtwr, yr hwn ydoedd brif gogydd i'r brenin Pharaoh, a bwrcasodd Joseph gan y masnachwyr.‡ Yr ydoedd efe mewn anrhydedd mawr ganddo, ac a'i dug ef i fynu yn y fath ddysgeidiaeth ag oedd addas i un o fraint oruchel, gan ganiattau y cyfryw fywioliaeth iddo ag oedd yn rhagori ar yr hyn a ganiatteid i gaeth-weision; efe hefyd a ymddiriedodd amrywiol achosion ei dŷ i'w ofal ef. Pa fodd bynnag ni cholledwyd Joseph o'r rhinwedd ag oedd ganddo o'r blaen, drwy 'r fath gyfnewid-

* Y deg a thrugain a grybwyllant 20 o ddarnau aur; testament Gad, 30; yr Hebr. a Samar. 200 arian; y Lladin cyffredin 30. Pa faint ydoedd y gwir rifedi a'r swm, ni ellir yn awr ei wybod.

† Gen. xxxvii. 35 ‡ Gen. xxxix. 1.

iad yn ei sefyllfa; ond efe a eglur ddangosodd fod doethineb yn rhinweddol i lywodraethu nwydau anesmwyth y meddwl, yn y sawl sydd yn ei feddiannu mewn gwirionedd, ac nad ydoedd efe yn ei gwisgo yn unig er edrych arni mewn cyflwr llwyddiannus.

Ac ar fyrder gwraig ei feistr a syrthiodd mewn cariad ag ef, yn gystal oblegid harddwch ei gorph a'i gywreinrwydd yn trefnu achosion y teulu; a hi a feddyliodd ond iddi amlygu ei serch tu ag atto, y gallai yn hawdd ei berswadio i orwedd gyd â hi; ac y byddai iddo ei olygu yn ddigwyddiad dedwydd i gael cyfeillach mor agos â hi, ac ystyried ei hun ymherthynas i'w sefyllfa o gaethiwed, ac nid i'w gyflwr moesol, yr hwn oedd yr un a chyn ei ddiweddar dralliodion. Felly hi a amlygodd ei thueddiadau anghyfreithlon tu ag atto: pa fodd bynnag efe a wrthododd wrando ar ei deniadau, gan ei ystyried yn anghyttunol â chrefydd i gydsynio mor bell â hi, ac i niweidio yr hwn a'i pwrcasodd ef, ac a ddangosodd gymmaint ffafr iddo. Efe gan hynny a'i cynghorodd hi i ffrwyno y nwydau hynny, gan osod o'i blaen yr amhossiblrwydd o gael ei dymuniad, wrth yr hyn y meddyliodd ei gorchfygu pan glywai nad oedd obaith iddi lwyddo. Ac efe ymhellach a ddywedodd ymherthynas iddo ei hun, y dioddefai unrhyw gystudd a osodid arno, yn hytrach nag y cydsyniai â'r cyfryw hudoliaeth: er mai dyledswydd caethwas o'r fath ag oedd ef, ydoedd peidio gwneuthur dim yn wrthwyneb i'w feistres, geillid yn hawdd ei esgusodi mewn achos o wrthwynebiad i'r fath orchymmyn ag a osodid yn awr arno. Ond y gommeddiad hwn o eiddo Joseph, pan nad oedd hi yn ei ddisgwyl, a ennynodd ei chwant yn fwy tu ag atto, ac a hollol fwriadodd gyflawni ei hamcan ar yr ail ymosodiad.

Gan hynny, wedi dyfod gwyl ymlaen, ym mha un yr oedd arferiad gwragedd i ymddangos yn y cyfarfod cyhoeddus, cymmerodd arni wrth ei gwr ei bod yn glaf, fel yr esgusodai hi am fod gartref, ac absennoli ei hun o'r dyrfa; ym mha amser hi a arfaethodd demtio Joseph drachefn. Wedi meddu y cyfleusdra hwn, arferodd fwy o eiriau teg wrtho nag o'r blaen, gan ddywedyd, y buasai dda iddo gydsynio â hi ar ei deisyfiad cyntaf, a pheidio rhoddi nâg neu lysiant iddi, yn gystal o herwydd y parch a ddylasai ddangos i'w huchel-radd, ac o herwydd gwresowgrwydd ei serch tu ag atto, trwy'r hyn y gyrrasid hi, er bod yn feistres iddo, i ymddarostwng islâw ei graddau. Ond y gallai efe yn awr, trwy wrando ei chyngor yn fwy pwyllog, ddilëu ei ynfydrwydd blaenorol: canys pa un ai bod disgwyliad ganddo ai peidio am adnewyddiad o'i deisyfiadau, yr ydoedd yn awr yn ei wneuthur gyd â mwy o daerineb nag o'r blaen; ac ei bod hi wedi houni ei hun mewn cyflwr afiach ar y cyfrif hwn, gan ddewis ei gyfeillach ef o flaen yr uchel wyl a'i holl gymdeithasiad: neu pa un a ydoedd wedi gwrthwynebu ei hymddiddanion gynt, trwy anghredu difrifwch ei hymgais, yr ydoedd yn awr yn rhoddi sicrwydd digonol iddo o'i serchowgrwydd, trwy adnewyddu ei deisyfiad; nad ydoedd yn bwriadu yn y mesur lleiaf ymddwyn mewn twyll tu ag atto; gan sicrhau iddo os cydsyniai â'i dymuniadau y gallai ddisgwyl parhad o'r manteision oedd eisoes ganddo, ac os ymostyngai iddi hi y byddai ei fanteision etto yn fwy: ond bod yn rhaid iddo ddisgwyl casineb ac ymddial oddiwrthi hi os gommeddai y mwyniant yr oedd hi yn ei geisio, ac y dewisai gadw ei ddiweirdeb o flaen ymgaredigo â'i feistres; canys ni ennillai ddim trwy lynu wrth hynny, oblegid y deuai hi yn gyhuddwraig iddo, ac y cam-achwynai wrth ei gwr gynnyg o hono drais i'w diweirdeb; ac y rhoddai Potiphar wrandawiad iddi hi yn hytrach nag ef, bydded ei eiriau mor gyttûn ag y byddont â gwirionedd.

Er ymadroddi o'r wraig fel hyn, gyd â dagrau hefyd ar ei gruddiau, ni syflwyd Joseph oddiwrth ei ddiweirdeb, ac ni ogwyddwyd ag ofn i gydsyniad â hi: ond efe yr un modd a wrthwynebodd ei deniadau a'i bygythion; gan ei fod yn arswydo gwneud yr hyn oedd ddrwg, ac yn hytrach yn dewis myned dan y gospedigaeth drymmaf, na mwynhau ei fanteision presennol trwy wneuthur yr hyn ag oedd ei gydwybod yn tystio y byddai 'n gyfiawn yn haeddu

marw o'i herwydd. Efe hefyd a goffaodd iddi mai gwraig brïod ydoedd, ac mai ei dyledswydd oedd cyd-gyweithasu â'i gwr yn unig; gan ddymuno arni adael i'r ystyriaethau hyn gael mwy o bwys gyd a hi, na byrr fwyniant o gyflawniad ei chwantau, yr hyn a barai flinder ac edifeirwch rhagllaw, ond etto heb wella yr hyn a gamwnaethpwyd. Rhoddodd ar ddeall iddi hefyd yr ofn a'u dilynai rhag eu hamlygu hwynt, a'r ansicrwydd o gadw yn ddirgel eu hanghyfreithlon ymddygiad; ac mai yn unig tra fyddai y drygioni heb ei wybod y gallent gael esmwythder. Ond fel y mwynhâi gyfeillach ei gŵr yn ddiberygl, dylai ystyried ei dyledswydd i ymwrthod â phawb arall, fel y byddai ganddi hyfdra mawr tu ag atto oddiwrth gydwybod dda ger bron Duw a dynion; ïe, yr ymddygai yn fwy cymmwys fel ei feistres, ac yr arferai ei hawdurdod arno yn well tra'r arosai yn ei diweirdeb, na phan fyddent y naill a'r llall â chywilydd arnynt oblegid y drygioni a fuasent yn euog o hono; a'i fod yn llawer gwell hyderu ar fuchedd dda ag a wyddis ei bod felly, nag ar obaith o gadw yn guddiedig ddrwg ymarferion.

Joseph, wrth ddywedyd hyn ac ychwaneg, a ymdrechodd i attal gweithrediadau tymmer nwyfus y wraig foneddigaidd hon, ac i ddwyn ei nwydau o fewn terfynau rheswm: ond hi a dyfodd yn fwy anllywodraethus a thaer yn ei hymgais; a phan anobeithiodd ei berswadio, gosododd ei dwylaw arno, gan feddwl trwy drais ei orchfygu. Ond cyn gynted ag y cafodd Joseph le i ffoi, a rhuthro o hono allan o'i hystafell, a gadael ei wisg gyd â hi, hi a ddechreuodd ofni rhag iddo grybwyll am ei hanniweirdeb wrth ei gwr, a bod yn ddigofus tu ag atto yntau oblegid ei anymostyngiad iddi: felly hi a fwriadodd gael y blaen arno yn hyn, sef ei gyhuddo ar gam wrth Potiphar, a thrwy hynny dial arno am ei falchder a'i ddiystyrwch o honi hi; gan ei olygu yn gallineb i ragflaenu cyhuddiad o'i du ef yn ei herbyn. Yn ganlynol hi eisteddodd i lawr yn athrist ac yn derfysglyd, gan gymmeryd arni agwedd mor ragrithiol a digllon, fel y byddai i'w thristwch, yr hwn yr oedd ei diweddar siomedigaeth yn achos o hono, ymddangos o herwydd y cam-ymosodiad a fuasai ar ei diweirdeb. Felly pan ddychwelodd ei gwradref, ac ymofyn am yr achos o'i hanhwyldeb, hi a ddechreuodd gyhuddo Joseph mewn geiriau cyffelyb i hyn:—

"O wr" eb hi, "na chaffech fyw ddydd yn hwy os na chospi y caethwas drygionus yr hwn a chwennychodd halogi dy wely; yr hwn hefyd ni chofiodd pa fath ydoedd pan ddaeth attom ni, fel ag i ymddwyn ei hun mewn gweddeidddra, ac nid ystyriodd pa haelioni a dderbyniodd oddi ar dy law di; felly y mae 'n rhaid ei fod yn un tra anniolchgar yn wir, trwy beidio ag ymddwyn fel dyn moesol yn ein mysg. Y dyn hwn, meddaf, a osododd ddirgel fwriad i amherchi dy wraig, a hynny ar amser yr uchel wyl, gan graffu pa bryd y byddit yn absennol; felly y mae 'n awr yn amlwg am y cymmedroldeb a ymddangosai ynddo o'r blaen, mai o herwydd yr attalfa oedd arno yr ydoedd, trwy dy ofni di, ond nad oedd efe mewn gwirionedd o dueddiad da. Yr achlysur o hyn a fu ei ddyrchafiad i anrhydedd tu hwnt i'r hyn a haeddodd neu a obeithiodd am dano; yn gymmaint a dychymmygu o hono fod yr hwn a dybid yn addas i ymddiried iddo am lywodraethiad dy deulu a'th etifeddiaeth, ac wedi ei dderchafu uwchlaw dy hynaf weision, y meiddiai gyffwrdd â'th wraig hefyd." Wedi llefaru o honi yn y modd hwn, hi a ddangosodd wisg Joseph, megis pe buasai wedi ei gadael gyd â hi pan gynnygiodd ei threisio. Potiphar heb allu anghredu yr hyn a ddywedasai ei wraig, a'r arwydd a welsai o hono, ac wedi ei hudo gan garedigrwydd iddi hi, nid ymholodd am wirionedd yr achos, eithr efe gan farnu Joseph yn ddyn drygionus, a'i bwriodd i garchar y drwg-weithredwyr, gan gynnwys uwch meddyliau nag o'r blaen am ei wraig, a thystiolaethu mai menyw ydoedd o fawr ddiweirdeb a chymmesurwydd.

## PENNOD V.

*Am amgylchiad Joseph yn y Carchar, a'i ryddhad yn ol hynny.*

N awr Joseph, wedi gorchymmyn ei holl achosion i Dduw, ni chynnygiodd wneuthur

unrhyw ymddiffyniad, nac adrodd yn fanwl am amgylchiadau y weithred, eithr efe a ymostyngodd yn llariaidd i'r rhwymau a'r cyfyngderau a osodwyd arno, gan gredu yn gadarn y byddai i Ddnw, yr hwn a wyddai achosion ei drallodau, ymddangos yn fwy galluog er ei waredigaeth, na 'r rhai a osodai gospedigaethau arno. Efe gan hynny a dderbyniodd arwydd brydlon o ragluniaeth Duw ar ei ran; canys a cheidwad y carchar yn sylwi ar ei ofal a'i ffyddlondeb ymherthynas i'r dyledswyddau a osodasai arno, ynghyd â mawrhydi ei berson, efe a ysgafnhaodd ei rwymau, a thrwy hynny a barodd ei gystuddiau yn esmwythach, ac yn haws i ymgynnal danynt; efe hefyd a roddes gennad iddo ymborthi ar fwydydd amgenach nag a ganiatteid i garcharorion eraill. Yn awr ei gyd-garcharorion pan elai amser eu llafur drosodd a arferent ymddiddan â'u gilydd, fel cyd-ddioddefwyr, ac ymholi y naill â'r llall beth ydoedd yr achosion o'u hanfoniad i garchar? Yn eu mysg yr ydoedd pen-trulliad Pharaoh, a berchid gynt ganddo, ond yn awr a ddodasid mewn rhwymau ar anfoddlonrwydd y brenin tuag atto. Y dyn hwn ydoedd dan yr un rhwymau a Joseph, ac aeth cydnabyddiaeth rhyngddynt yn ebrwydd, ac wrth sylwi fod rhagorach dealltwriaeth yn Joseph nag eraill, adroddodd iddo am freuddwyd a welsai efe, ac a ddymunodd arno ei ddeongli; gan achwyn, mai heblaw ei gystuddiau gan y brenin, y chwanegasai Duw at ei ofid trwy ei drallodi â breuddwydion.

Yna y dywedodd, weled o hono yn ei gwsg dri grawn sypiau yn hongian ar dair caingc o winwydden, yn fawrion ac o addfedrwydd i'w cynnull, a gwasgu o hono hwynt i gwppan yr hwn a ddaliai y brenin yn ei ddwylaw; ac wedi hidlo y gwin efe a'i rhoddodd i'r brenin i'w yfed, a'i dderbyn ganddo gyd ag wynebpryd siriol. Dywedodd mai dyma oedd yr hyn a welodd; ac a ddymunodd ar Joseph os oedd mesur o wybodaeth ganddo yn y fath bethau, ar ddangos o hono iddo beth yr oedd y weledigaeth hon yn ei ragfynegi. Joseph a barodd iddo fod yn gyssurus, a disgwyl cael ei ryddhau o'r carchar ym mhen tridiau, o herwydd i'r brenin ewyllysio cael ei wasanaeth, a'i fod ynghylch ei adferyd iddo drachefn. Gwybydd mai Duw sydd yn rhoddi o ffrwyth y winwydden i ddynion er daioni, yr hwn a dywalltir allan iddo ef, ac sydd fel gwystl o ffyddlondeb a chydgymdeithasiad ym mysg dynion, yn diweddu eu hymrafaelion, yn symmud nwydau a gofidiau o feddyliau y rhai a'i harferant, gan eu llawenhau hwynt. "Ti wasgaist allan y gwin," eb efe, "o dri grawnsypiau â'th ddwylaw dy hun, a'r brenin a'u derbyniodd gennyt. Gwybydd, gan hynny, fod y weledigaeth hon er daioni, ac yn arwydd o rhyddhad o'th gaethiwed presennol, o fewn yr un rhifedi o ddyddiau a'r canghenau, o ba rai y casglaist y grawn-sypiau yn dy freuddwyd. Gan hynny cofia pa ryw lwyddiant a ragfynegais i ti am dano pan gaffech ef; a phan fyddi mewn awdurdod, na edrych heibio i ni yn y carchar hwn ym mha un ein gadewi, pan i'th symmuder i'r lle y rhag-ddywedasom am dano i ti; canys nid ydym o herwydd unrhyw fai mewn carchar, eithr oblegid ein rhinwedd a'n cymmedroldeb y bwriwyd ni i ddioddef cospedigaeth drwg-weithredwyr, ac o herwydd nad ydym yn ewyllysio niweid i'r hwn yn y modd yma a'n cystuddiodd, er pe byddai yn bleser gennym." Y pen trulliad a lawenychodd wrth glywed y fath ddeongliad i'w freuddwyd, ac a ddisgwyliodd gyflawniad o'r hyn a fynegasid iddo yma ym mlaenllaw am dano.

Gwasanaeth-ddyn arall i'r brenin, yr hwn a fuasai yn ben-pobydd, ac ydoedd yn awr gyd â'r pen-trulliad dan rwymau yngharchar, a ddechreuodd obeithio yn dda pan glybu ddeongliad Joseph o freuddwyd y pen-trulliad, canys fe freuddwydiasai yntau hefyd; dymunodd gan hynny i Joseph fynegi iddo yntau pa beth a allai y gweledigaethau a gawsai y nos o'r blaen fod yn arwyddo. "Meddyliais," eb efe, "fy mod yn dwyn tri chawell rhwyd-dyllog ar fy mhen, dau o honynt yn llawnion o fara, a'r trydydd yn gyflawn o ddanteithion, y fath ag a arlwyid i frenhinoedd; ond yr ehediaid a ddaethant ac a'u bwyttasant oll i fynu, ac ni pheidient er fy ymdrech i'w tarfu hwynt." Yna fe ddisgwyliodd am ddeongliad cyffelyb i'r un o eiddo

y pen-trulliad; ond Joseph wedi ystyried y breuddwyd, a ddywedodd wrtho, y byddai efe yn ewyllysgar ddeonglwr digwyddiadau da iddo, ac nid y cyfryw ag oedd ei freuddwyd hwn yn dangos; yna efe a ddywedodd nad oedd ganddo i fyw ond tri diwrnod, fel yr oedd y tri chawell yn arwyddo; ac ar y trydydd dydd y croeshoelid ef, ac y difethid ef gan yr ehediaid, pan na allai ei amddiffyn ei hun. Yn awr yr un canlyniadau a fu i'r breuddwydion hyn ag a ragddywedwyd gan Joseph: canys ar y trydydd dydd, yr hwn oedd ddydd-gwyl genedigaeth y brenin, efe a groeshoeliodd y pen-pobydd, ond a ryddhaodd y pen-trulliad o'i rwymau, ac a'i hadferodd i'w wasanaeth blaenorol.

Duw a ryddhaodd Joseph o'i garchar yn ol dioddef ei rwymau am ddwy flynedd, * heb dderbyn dim cymmorth oddiwrth y pen-trulliad yr hwn ni chofiodd yr hyn a ddywedasai gynt wrtho: eithr Duw a fwriadodd y drefn ganlynol o waredigaeth iddo. Pharaoh y brenin, a welodd yn ei gwsg yr un noswaith ddau o freuddwydion, ac a gawsai ar eu hol yr ystyr briodol o honynt; eithr efe a anghofiodd y diweddaf, ond a gadwodd yn ei gof y gweledigaethau eu hunain. A chan ei fod dan flinder meddwl oblegid yr hyn a welsai, o herwydd ymddangos o honynt iddo yn dywyll ac o ddull athrist; efe a alwodd atto y dydd nesaf y gwŷr doethaf ym mhlith yr Aiphtiaid, gan ddymuned dysgu oddi wrthynt hwy ddeongliad ei freuddwydion; ond ag efe yn eu gweled yn petruso yn eu cylch, o gymmaint a hynny y brenin a aflonyddwyd yn fwy. Ac yn awr yr ydoedd pan ddaeth cof am gyfarwyddyd Joseph i feddwl y pen-trulliad, pan ganfyddodd y derfysg yr oedd Pharaoh ynddo; felly efe a ddaeth gan grybwyll am Joseph wrtho, yn gystal a'r breuddwyd a welsai efe yn y carchar; a'r modd y dygpwyd o amgylch yr hyn a ragddywedasai efe am dano; fel hefyd y croeshoeliwyd y pen-pobydd ar yr un diwrnod, yr hyn a ddigwyddodd iddo yn ol deongliad Joseph: Fod Joseph ei hun wedi ei ddodi dan gaethiwed gan Potiphar megis caethwas, ond ei fod yn un o'r tylwythau ardderchoccaf ym mhlith yr Hebreaid, a'i dad yn byw mewn anrhydedd mawr. "Os gan hynny" ebefe, "yr anfoni am dano, gan beidio a'i ddiystyru o herwydd ei drallodion, fe fynegir i ti yr hyn y mae dy freuddwydion yn ei arwyddoccau." Gorchymmynodd y brenin, gan hynny, ddwyn Joseph ger ei fron; a'r rhai a dderbyniasant ei orchymmyn a aethant, ac a'i dygasant ef gyd â hwynt, gan ofalu am fod ei wisg yn addas i ddyfod ger ei fron, fel y parasai y brenin iddynt.

Wedi ymddangos o Joseph, y brenin a'i cymmerodd erbyn ei law, gan ddywedyd, "O wr ieuangc, fy ngweinidog a dystiodd i mi, mai ti yw y rhagoraf a'r un mwyaf doeth a allwn yn bresennol ymgynghori ag ef: caniatta i mi y fath ffafr ag a ddangosaist i'm gwas hwn, a mynega i mi pa ddamweiniau a arwyddir wrth weledigaethau fy mreuddwydion: ac mi ddymunaf arnat na chuddiech ddim oddi wrthyf trwy fy ofn, ac na wenieithiech i mi â geiriau anwir, neu â'r hyn a'm boddhao, pe byddai y gwirionedd yn dristwch ac yn arswyd i mi. Fe ymddangosodd i mi yn fy nghwsg megis pe buaswn yn rhodio wrth afon, a gweled o honof wartheg tewion o fawr faintioli yn dyfod allan o honi, ac yn myned i'r morfeydd, y rhai hefyd oeddynt saith mewn rhifedi: a chyffelyb nifer o wrtheg eraill a ddaethant o'r morfeydd, yn ddrwg yr olwg ac yn gulion o gig; y rhai a fwyttasant y gwartheg tewion, etto heb fod yn well eu llun, neu yn llai eu culni nag o'r blaen. Yn ol im' ganfod y weledigaeth hon mi a ddeffroais o'm cwsg; ac a mi mewn anhwyl yn ystyried ynof fy hun beth a allai 'r ymddangosiad hwn fod, mi a syrthiais i drymgwsg drachefn, ac a ganfum weledigaeth arall, yn llawer mwy rhyfedd na'r gyntaf, yr hyn ym mhellach am haflonyddodd ac a'm trallododd yn fawr. Gweled yr oeddwn saith dywysen o ŷd yn cyfodi o'r un gwreiddyn, a'u pennau yn gogwyddo gan bwys y gronynau, y rhai ydoedd yn aeddfed ac yn gymmwys i'w medi: ac yn agos i'r rhai hyn y gwelais saith dywysen eraill teneuon, a gwywedig o eisiau lleithder, y rhai a lyngcasant ac a ddifasant y saith dywys-

* Gen. xli. 1.

eu dda ydoedd barod i'r crymman, yr hyn a'm dododd mewn syndod mawr."

Joseph a attebodd; "Y breuddwyd hwn, O frenin, er ei weled mewn dau ddull, sydd yn arwyddo yr un digwyddiad o bethau; canys wrth weled o honot y gwartheg, y rhai sydd greaduriaid wedi eu trefnu i lafurio gyd a'r aradr, yn cael eu difa gan y rhai teneuon; a'r tywysennau da o ŷd yn cael eu difetha gan y rhai gwywedig, rhagddangos newyn y maent, a diffyg ffrwyth y ddaear, dros yr unrhyw nifer o flynyddoedd, cyfattebol i'r amser y byddai yr Aipht mewn cyflwr o lawnder; a hynny mor bell ag y bydd i lawnder y blynyddau hynny gael ei dreulio yn yr un rhifedi o flynyddoedd o brinder; a'r lleihad o gynhaliaeth yn peri mwy o anhawsdra i'w iawn drefnu; megis yn arwyddo hyn yr ydoedd y gwartheg culion, pan fwyttaent y rhai breision, ac heb gael eu digoni. Etto Duw sydd yn rhagddangos yr hyn a drefnodd i ddisgyn ar ddynion, nid i'w gofidio hwynt, ond trwy iddynt wybod am dano ym mlaen llaw, fel y gwnelont ymbarottöad gwell tu ag atto. Os tydi gan hynny a drefni yn ofalus y cnydiau toreithiog a ddug y blynyddoedd cyntaf, ti a feddianni y fath fesur o ymborth fel na theimlir prinder o hono gan yr Aiphtiaid dros yr amser a ddaw."

Ar hyn y brenin a ryfeddodd wrth synwyr a doethineb Joseph; ac a ofynnodd iddo trwy ba foddion y trefnid y cnydiau ffrwythlon yn y blynyddoedd o lawnder, fel y parai i'r cnydiau diffrwyth yn y blynyddau o brinder fod yn fwy goddefol. Yna Joseph a chwanegodd y cyngor hwn; sef, I arbed y cnydiau da, trwy fod i'r Aiphtiaid ymogelyd gloddest ac afradlonrwydd, eithr i gadw yr hyn a dreulient mewn achosion afreidiol erbyn amser o brinder. Efe hefyd a'i hannogodd i gymmeryd ydau y llafurwyr, a mesur iddynt yn unig yr hyn a fo ddigonol i'w cynnaliaeth. Yn ganlynol, Pharaoh yn rhyfeddu wrth Joseph, nid yn unig oblegid ei ddeongliad o'i freuddwyd, ond am y cyngor a roddasai, a ymddiriedodd iddo am ddosparthiad yr ŷd; gyd ag awdurdod i wneuthur yr hyn a olygai er budd i drigolion yr Aipht, ac er anrhydedd i'r brenin: gan gredu y byddai iddo ef, yr hwn yn gyntaf a ddyfeisiai y dull yma o weithredu, yn gymmwysaf i fod yn olygwr arno. Joseph wedi derbyn yr awdurdod yma gan y brenin, gyd â chaniattad i wneuthur defnydd o'i sêl ef, a gwisgo â phorphor, a farchogodd yn ei gerbyd trwy holl wlad yr Aipht;* gan gasglu ynghyd ydau † y llafurwyr; a gadael cymmaint i bob un ag a fyddai angenrheidiol yn hâd, ac er cynnaliaeth presennol i'w teulu. A hyn a wnaeth heb amlygu i neb y rheswm o hono.

## PENNOD VI.

*Am ddyfodiad Brodyr Joseph i'r Aipht, a'i ymddygiad tu ag attynt.*

JOSEPH oedd yn awr wedi tyfu i fynu yn ddeng mlwydd ar hugain o oedran, ac yn cael anrhydedd mawr gan y brenin; yr hwn a'i cyfenwodd Psothom Phanech, o barch i'w raddau mawr o ddoethineb: canys yr enw uchod sydd yn arwyddo datguddiwr pethau dirgel. Efe hefyd a briododd wraig o raddau uchel, yr hon ydoedd ferch i Petephres, ‡ un o offeiriaid Heliopolis, a'i henw ydoedd Asenath. Bu iddo feibion o honi hi cyn dechreuad y prinder; sef, Manasseh, yr hynaf, yr hyn sydd yn arwyddo anghofus; o herwydd i'w bresennol ddedwyddwch wneuthur iddo anghofio ei drallodion. Ac Ephraim, yr ieuangaf, ystyr pa enw yw adferiad, o herwydd ei adferyd i rydd-did ei hynafiaid.

Yn awr wedi myned heibio saith mlynedd o lawnder yn yr Aipht, yn ol deongliad Joseph o'r breuddwydion, y newyn a ddaeth i'w mysg yn yr wythfed flwyddyn; ac o herwydd eu goddiweddyd gan y blinder hwn, pa un ni phrofasent §

---

* Gen. xli. 42, 43. † Sef, ei brynu i Pharaoh am bris tra isel.

‡ Y Petephres hwn, pa un ydoedd yn awr yn offeiriad On neu Heliopolis, ydyw o'r un enw, yn Josephus, ac ysgatfydd yn Moses hefyd, â'r hwn a elwir o'r blaen Potiphar, sef, pen-cogydd y brenin, a blaenor ei filwyr, ac i ba un y gwerthasid Joseph. Gwel Gen. xxxvii. 36. xxxix. 1. gyd â xli. 50. Dywedir hefyd eu bod yn arwyddo yr un person yn Nhestament Joseph, canys, yno y mynegir ei briodi â merch ei feistr a'i feistres. Ac nid yw 'r dychymmyg hwn i'w ganfod yn unig yn y Testament hwnnw; ond, fel yr addef Dr. Bernard, sydd gyffredin i Josephus, i'r LXX. ac i awdwyr Iuddewaidd eraill mewn amserau gynt.

§ Am hollawl anwybodaeth yr Aiphtiaid o'r blynyddau hyn o newyn cyn eu dyfod, a grybwyllir o'r blaen yn gystal ag yma, gan Josephus, y mae 'n ymddangos agos yn anghredadwy: ni chrybwyllir mo'no mewn un gwaith arall a'r a wn i am dano.

o'r blaen, yr oeddynt oll dan gystudd trwm o'i blegid, ac yn llefain wrth byrth y brenin; yntau a alwai ar Joseph, yr hwn oedd yn gwerthu yr ŷd iddynt; yr hwn a addefid yn waredwr holl luoedd yr Aiphtiaid. Ac ni agorodd y farchnadfa hon i drigolion y wlad honno yn unig, ond dieithriaid a gawsant ryddid i ddyfod i brynu hefyd, am fod Joseph yn ewyllysio i bawb eraill, y rhai ydynt wrth natuniaeth o un perthynas, gael eu cynnorthwyo mewn cytyngder gan y rhai a fyddo 'n byw mewn helaethrwydd.

Jacob hefyd wedi clywed fod y rhagorfraint hon yn ganiattaol i ddieithriaid, a anfonodd ei feibion oll i'r Aipht i brynu lluniaeth. Canys yr ydoedd y newyn yn drwm yng ngwlad Canaan, ac a deimlwyd drwy 'r holl gyfandir. Efe yn unig a gadwodd Benjamin, yr hwn a anesid iddo o Rachel, ac ydoedd o'r un fam a Joseph. Y meibion eraill i Jacob a ddaethant i'r Aipht, ac a gymmwysasant eu hunain at Joseph i brynu lluniaeth, canys nid oedd masnach o'r natur yma i gael ei dwyn ym mlaen heb ei gydsyniad ef! gan fod yr anrhydedd a roddid i'r brenin ei hun, yn fanteisiol yn unig pan ofalid am anrhydeddu Joseph hefyd. Yn awr pan adwaenai yn dda ei frodyr, nid ydoedd meddyliau ganddynt hwy am dano ef, oblegid nad oedd ond llengcyn pan adawsai hwynt; ond yr oedd yn awr wedi dyfod i'r fath oedran a bod dull ei wynebpryd wedi cyfnewid fel nad adwaenent ef: heblaw hyn, mawrhydi ei urddas ym mha un yr ymddangosai, ni chaniattäi iddynt ddychymmygu am dano. Gan hynny efe a wnaeth brofiad o'u barn hwynt ar fatterion o'r canlyniad mwyaf; ond a ommeddodd yn bresennol werthu ŷd iddynt, gan haeru mai yn yspiwyr y daethant i'r wlad, a bod eu dyfodiad (wedi ymuno â'u gilydd dan liw o berthynasau) o amryw fannau; ac nad oedd bossibl i wr o sefyllfa gyffredin ddwyn i fynu gynnifer o feibion a gwedd mor ardderchog ag oedd iddynt hwy; dygiad i fynu gynnifer o feibion nid oedd beth hawdd hyd yn oed i frenhinoedd eu hunain. Yn awr efe a wnaeth â hwy fel hyn i'r diben i gael amlygrwydd o sefyllfa ei dad; a gwybod pa beth a ddigwyddasai iddo wedi ei ymadawiad ei hun oddiwrtho; a chan ewyllysio gwybod hefyd beth a ddaethai o Benjamin ei frawd; canys ofni yr ydoedd rhag gwneuthur o honynt ag ef yn gyffelyb i'r hyn a wnaethent ag yntau.

Yn awr ei frodyr hyn oeddynt mewn terfysg a dychryn, gan ddychymmygu fod niweid mawr iawn yn barod i syrthio arnynt, etto heb fyfyrio dim am eu brawd Joseph, a chan sefyll yn gadarn dan y cyhuddiadau a osodid yn eu herbyn, hwy a wnaethant eu hamddiffyniad trwy Reubel eu brawd hynaf, yr hwn yn awr a ddaeth yn ymadroddwr drostynt. "Ni ddaethom yma," eb efe, "gyd ag unrhyw ddrwg fwriad, nag i drosedda ar awdurdod y brenin; nid oes eisiau arnom ond yr hyn sydd er cynnaliaeth i ni a'n teulnoedd, gan feddwl y byddai eich dynoliaeth chwi yn ddiogelfa i ni rhag y trueni y mae ein gwlad dano, o herwydd clywed o honom eich bod yn amcanu gwerthu ŷd, nid yn unig i'ch gwladwyr eich hunain, ond i ddieithriaid hefyd; a'ch bod yn penderfynu cyfrannu i bawb a f'o mewn eisiau o hono er eu cadwriaeth. Ond mai brodyr ydym ni o'r un waedoliaeth, dull ein hwynebpryd, ag sydd yn tebygoli y naill i'r llall, a ddengys hynny yn eglur. Enw ein tad yw Jacob, Hebrëwr, yr hwn a fu iddo ddeuddeg o feibion o bedair gwraig; pa rai pan oeddym yn cyd-fyw â'n gilydd, oeddym deulu dedwydd. Ond wedi i un o'n brodyr farw, yr hwn a enwid Joseph, ein hamgylchiad a newidiodd er gwaeth, canys ni allodd ein tad ymattal â gwneuthur hir alar drosto ef; ac yr ydym ni mewn trallod, yn gystal o herwydd marw ein brawd, a gofidus gyflwr ein tad oedrannus. Yr ydym gan hynny yn awr wedi dyfod i brynu ŷd, ac wedi ymddiried gofal ein tad, a llywodraeth ein teulu i Benjamin, ein brawd ieuangaf; ac os anfoni i'n tŷ, gelli yn hawdd wybod a ydym yn euog o'r ffuantrwydd lleiaf yn yr hyn a ddywedasom.

Fel hyn Reubel a ymdrechodd i feddiannu Joseph â gwell tŷb am danynt; ond wedi deall o hono fod Jacob yn fyw, a bod ei frawd heb ei ddifetha ganddynt, efe, dros yr amser presennol, a'u dododd hwynt yn y carchar, megis yn ewyllysio ymholi yn fwy ynghylch eu sefyllfa, pan fyddai cyfleusdra ganddo. Ond ar y trydydd

dydd efe a'u dwg hwynt allan, ac a ddywedodd wrthynt, "Gan eich bod yn barhaus yn sicrhau na ddaethoch yma er niweidio achosion y brenin; mai brodyr ydych, a meibion yr un tad yr hwn a enwasoch; chwychwi a'm boddlonwch am wirionedd yr hyn a draethwch, os gadewch un o'ch cwmpeini gyd â mi, yr hwn ni chaiff ddim niweid yma; ac, os wedi dwyn lluniaeth gyd â chwi i'ch tad, y dychwelwch yma drachefn, a'ch brawd yr hwn yr ydych yn crybwyll am dano gyd â chwi, hynny a gyfrifir fel sicrwydd o wirionedd y peth a ddywedasoch i mi." Wrth hyn yr oeddynt yn fwy eu gofidiau nag o'r blaen; hwy a wylasant ac a gwynfanasant y naill wrth y llall oblegid eu camwedd i Joseph; gan ddywedyd, syrthio o'r trallod hwn arnynt fel cospedigaeth oddiwrth Dduw, am eu drwg-fwriadau i'w erbyn. A Reubel a edliwiodd iddynt eu hedifeirwch rhy ddiweddar, y pryd nad oedd o ddim gwasanaeth i Joseph; ac efe a'u taer annogodd hwynt i ddioddef trwy amynedd, pa ryw gerydd bynnag a osodai Duw arnynt o'i herwydd. Fel hyn y llefarasant wrth eu gilydd, heb feddwl fod Joseph yn eu deall. Syrthiodd prudd-der cyffredinol arnynt wrth eiriau Reubel, a gofidiasant am yr hyn a wnaethant; gan gyfaddef fod Duw yn gyfiawn yn eu cospi hwynt. Yn awr, pan welodd Joseph y cyfyngder hwn arnynt, efe a gynhyrfwyd mor fawr ag i dywallt dagrau; ond heb ewyllysio iddynt sylwi arno, efe a giliodd ymaith, ac ym mhen ychydig a ddychwelodd drachefn attynt; a chan ymaflyd yn Simeon,* mewn trefn i fod yn wystl hyd ddychweliad ei frodyr; efe a archodd iddynt gymmeryd yr ŷd a brynasent gyd â hwy, a myned ymaith. Efe hefyd a orchymmynodd i'w oruchwiliwr roddi eu harian a ddygasent gyd â hwynt i bwrcasu ŷd yn ddirgel yn eu ffettenau, a'u hanfon ymaith, yr hwn megis yr addysgasid ef a wnaeth felly.

Pan ddychwelodd meibion Jacob i wlad Canaan, hwya a droddasant wrth eu tad yr hyn a ddigwyddodd iddynt yn yr Aipht; eu cymmeryd am yspiwyr ar fatterion y brenin; a thystio o honynt hwy mai brodyr oeddynt, a darfod iddynt adael eu brawd ieuangaf gyd â'u tad, ond na chawsent eu credu. Dywedasant adael o honynt Simeon gyd â'r llywodraethwr, hyd oni ddeuai Benjamin yno, i brofi gwirionedd yr hyn a ddywedasant. Yna y deisyfiasant ar eu tad i beidio ag ofni; ond anfon y llangc gyd â hwynt. Ond ni foddlonodd Jacob i'r hyn a wnaethent, a chan ofidio o herwydd attaliad Simeon, yr ydoedd yn ei ystyried yn ynfydrwydd i roddi i fynu Benjamin hefyd. Ac ni wrandawodd ar ymresymiad Reubel, er dywedyd o hono am ladd ei feibion ef, os digwyddai dim niweid i Benjamin yn ei daith gyd â hwynt. Felly yr oeddynt yn dra therfysglyd, ac heb wybod beth i'w wneuthur. Iê, fe ddigwyddodd damwain arall pa un a'u haflonyddodd yn fwy, sef, yr arian a gafwyd wedi eu cuddio yn y ffettenau ŷd. Etto pan ballodd yr ŷd a ddygasent adref, a'r newyn yn gwasgu arnynt drachefn, ni ymröai Jacob er hynny i ollwng Benjamin gyd â'i frodyr, er na allent ddychwelyd i'r Aipht heb fod yr hwn a addawsid gyd â hwynt. Yn awr, a'u cyfyngder yn cynnyddu beunydd, a'i feibion yn para yn eu deisyfiadau am gydsyniad eu tad, Judas yr hwn oedd wr ymadroddus ac o fawr hyfdra ar achosion eraill, a lefarodd yn rhydd ei feddyliau. Dywedodd nad oedd yn addas iddo ef bettruso am ei fab, neu feddwl y gwaethaf megis yr ydoedd efe; canys ni allai dim ddigwydd i'w fab ond trwy ordinhad Duw, yr hyn sydd raid ei gyflawni yn ddiau pe byddai gartref gyd ag ef; na ddylai eu condemnio hwy i'r fath ddistryw, na'u hymddifadu o ddigonedd o fara a allent ei gael gan Pharaoh trwy ei ofal anghymmedrol am ei fab Benjamin, ond a ddylai ofalu hefyd am ddiogelwch Simeon; rhag wrth luddias taith Benjamin, i Simeon gael ei ddifetha. Cynghorodd ef i ymddiried i Dduw am dano, ac a ddywedodd y dygai efe ei fab yn ol atto yn ddiangol, neu, y boddlonai i roddi ei einioes ei hun i lawr gyd ag ef. Felly o'r diwedd fe berswadiwyd Jacob, yr hwn a roddodd Benjamin i fynu i'w gofal, gyd â phris yr

* Y rheswm paham y detholwyd Simeon o blith y lleill yn garcharwr i Joseph, sydd eglur yn Nhestament Simeon; sef, o herwydd mai efe oedd y chwerwaf o holl frodyr Joseph yn ei erbyn.

ŷd yn ddeublyg;* efe hefyd a anfonodd anrhegion i Joseph o ffrwythau gwlad Canaan, balm,† ystor, a thurpentin, a mêl. Yn awr eu tad a dywalltodd ddagrau lawer ar ymadawiad ei feibion, yn gystal a hwy eu hunain; ei ofal ydoedd am eu gweled wedi dychwelyd yn ol drachefn o'u taith yn ddiangol, a'u gofal hwythau ydoedd am weled eu tad yn iach, ac heb fod mewn un modd yn drist o'u herwydd. A'r galar yma y naill dros y llall a barhaodd ddiwrnod cyfan, fel ag y blinodd yr hen wr ag wylofain ac yr arosodd yn ol; eithr hwythau a aethant rhagddynt yn eu ffordd tu a'r Aipht, gan ymdrechu i lonyddu eu gofid oblegid eu trallodion presennol, gyd â gobaith am fwy o lwyddiant mewn amser i ddyfod.

Cyn gynted ag y daethant i'r Aipht hwy a ddygwyd i wared at Joseph; ond yno nid ychydig oedd eu hofn, rhag eu cyhuddo oblegid arian y llafur a gawsent o'r blaen, megis pe buasent wedi twyllo Joseph o honynt. Gwnaethant, gan hynny, hir araith o hunan-amddiffyniad wrth oruchwiliwr Joseph, gan ddywedyd gael o honynt yr arian yn eu ffettenau wedi dyfod i'w cartrefi, a'u dwyn gyd â hwynt yn ol yn bresennol. Dywedodd yntau na's gwyddai beth yr oeddynt yn ei ddywedyd. Felly hwy a ryddhawyd oddiwrth yr ofn hwnnw. Ac wedi iddo ollwng Simeon iddynt, a'i arwisgo o newydd, gadawodd ef i fod ymmhlith ei frodyr, ar ba amser y daeth Joseph i mewn oddiwrth ei wasanaeth gyd â'r brenin. Felly hwy a ddygasant iddo eu hanrhegion, ac ar ei ymofyniad â hwynt ymhellach ynghylch eu tad, attebasant iddynt ei gael ef mewn iechyd. Hefyd, wedi canfod o hono fod Benjamin yn fyw, fe ofynnodd, ai hwnnw oedd eu brawd ieuangaf hwynt? canys ni welsent ef. Ar yr hyn y dywedasant mai efe ydoedd;—attebodd yntau, fod y Duw holl-bresennol yn amddiffynwr iddo. Ond pan oedd ei gariad at ei frawd wedi ei gyffroi a gwneuthur iddo dywallt dagrau, efe a giliodd o'r neilldu, heb ewyllysio ei weled yn y cyflwr hwnnw gan ei frodyr. Yna Joseph a'u cymmerodd hwynt i swppera; a hwy a osodwyd i eistedd yn yr un drefn ag yr eisteddent gartref wrth fwrdd eu tad. Ac er cael o honynt oll driniaeth garedig gan Joseph, etto efe a roddodd saig ddeublyg i Benjamin,‡ yn rhagori ar yr hyn a gafodd y gwahoddedigion eraill.

Yn awr ar ol swpper, wedi ymdaweln o honynt i fyned i'w gorweddfa, gorchymmynodd Joseph i'w oruchwiliwr i roddi iddynt eu mesurau o ŷd, a chuddio ei werth o arian drachefn yn eu ffettenau; a chyd â'r cwbl iddo ddodi y cwpan aur yr yfai o hono yn sach Benjamin. Hyn a wnaeth efe mewn trefn i brofi ei frodyr, pa un a safent hwy dros Benjamin pan gyhuddid ef o ddwyn ymaith y cwpan, a'i fod yn ymddangos mewn perygl; neu ynte a adawent ef, a chan hyderu yn eu diniweidrwydd eu hunain y dychwelent at eu tad hebddo. Wedi i'r gwas wneuthur megis y gorchymmynwyd iddo, meibion Jacob, heb wybod dim am hyn, a aethant i'w ffordd, gan gymmeryd Simeon gyd â hwynt, wedi cael achos deublyg o lawenydd, o herwydd derbyn o honynt ef drachefn, a chael Benjamin i fyned yn ol gyd â hwynt at eu tad fel yr addawsent. Ond yn ddisymmwth llu o wŷr meirch a'u hamgylchynodd hwy, a chyd â hwynt gwas Joseph, yr hwn a ddodasai 'r llestr aur gyd â'r ŷd yn y ffettan a berthynai i Benjamin. Ar yr ymosodiad annisgwyliadwy hwn, hwy a derfysgwyd yn fawr, ac a ofynasant beth oedd yr achos o'u dyfod fel hyn ar eu gwarthaf hwynt, y rhai ychydig o amser yn ol a fernid yn deilwng gan eu harglwydd i gael derbyniad anrhydeddus a chroesawgar, ac i gyfrannogi o'i wledd ef. Attebasant yn chwerw gan eu difenwi hwynt, am gam-ddefnyddio y croesaw a'r ymgeledd a gawsent gan Joseph, ac na rusent wneuthur niweid iddo ef; a dwyn ymaith y cwpan o ba un yr yfai attynt mor garedig; na phrisiasant ewyllys da Joseph tu ag attynt, ymhellach na 'r perygl a fuasent ynddo os cymmerid hwynt, mewn cydmariaeth i'w helw anghyfiawn. Ar hyn efe a'u bygythiodd â chospedigaeth, canys er diangc o honynt rhag ei wybodaeth ef, yr hwn nid

* Gen. xliii. 12.

† Am balm gwerthfawr Judea, a'r turpentin, gwel nod yn Llyfr VIII. pennod 6.

‡ Cymmaint bum gwaith, medd yr Hebr. a'r Sept.

ydoedd ond gweinidog, etto ni ddiangasant rhag gwybodaeth Duw am y peth a gymmerasant ymaith yn lledrad. Ar ol hyn gofynent, pa ham yr oeddynt yn eu herlid hwynt, heb wybod etto am yr achos o hono; ac efe a'u hattebodd, y caent ei wybod yn ebrwydd trwy eu cospedigaeth. Hyn ac ychwaneg o eiriau o'r un natur a lefarodd y goruchwyliwr wrthynt mewn dull o waradwydd: ond a hwy yn hollol anwybodus o'r hyn ag oeddid yma yn ei ddannod iddynt, a wenasant wrth ei glywed ef, gan ryfeddu at y geiriau amharchus a arferodd efe wrthynt hwy, y rhai ni wnaethent gymmaint a chadw arian blaenorol yr ŷd gyd â hwynt, ond a'u dygasant yn ol, er na wyddai neb arall am danynt; mor bell a hyn yr oeddynt hwy heb gynnyg niweid i Joseph yn fwriadol. Ond etto, gan feddwl y byddai 'r weithred o'u chwilio yn eu cyfiawnhau yn eglurach na'u hunan wadiad o'r peth, parasant iddo eu profi trwy hynny; gan ddywedyd, os oedd un o honynt yn euog o ledrad, fod rhyddid iddo eu cospi oll am y bai hwnnw: canys a hwy heb fod yn gydwybodol o un ddrwg weithred, yr oeddynt yn llefaru gyd â mwy o hyder, ac, megis y meddylient hwy, heb berygl iddynt eu hunain. Dywedodd y gweision y chwilid hwynt, ond na byddai i'r gosp gael ei hestyn ymhellach na'r hwn a gaid yn euog o'r lledrad. Felly y gwnaethant yr ymofyniad; ac wedi chwilio y lleill i gyd, hwy a ddaethant at Benjamin, gan wybod o'r gwas mai yn ei ffettan ef y cuddiasid y cwpan, ac ni chwiliodd y lleill ond yn unig mewn ymddangosiad; felly yr oedd y lleill yn awr allan o ofn am danynt eu hunain, ac heb ofalu ond am Benjamin yn unig; ac etto yr oeddynt yn dra sicr y caid ef yn wirion neu 'n ddiniweid: a hwy a waradwyddasant y rhai a ddeuent ar eu hol i'w rhwystro ar eu taith. Ond cyn gynted ag y cafwyd y cwpan yn sach Benjamin, y cwbl a newidiwyd i alarnad ac wylofain. Rhwygasant eu gwisgoedd ac a lefasant oblegid y gosp ag oedd eu brawd i fyned dani am ei ledrad, ac o herwydd eu twyll hwythau i'w tad, pan addunedasant ddychwelyd Benjamin yn ol atto ef. Yr hyn a chwanegodd at eu trallod ydoedd eu goddiweddyd gan y ddamwain alaethus hon, pan ddychymmygasant fod eu blinderau yn hyn wedi myned heibio. Ond hwy a gyffesasant fod yr anhap hwn ymberthynas i'w brawd, yn gystal a gofidiau ei dad am dano, yn perthyn iddynt eu hunain; yn gymmaint a chymmell o honynt eu tad i'w anfon gyd â hwynt, pan ydoedd yn wrthwynebus i hynny.

Y gwŷr meirch a gymmerasant Benjamin ymaith gyd â hwynt ac a'i dygasant at Joseph, a'i frodyr hefyd yn ei ganlyn ef, yr hwn pan ganfu ef mewn dalfa, a hwythau a gwedd alarus gerllaw iddo, efe a lefarodd, *"Pa fodd y bu ddarfod i chwi ddrwg ddynion, gam-ddefnyddio fy ngharedigrwydd tu ag attoch, diystyru rhagluniaeth Duw, ac ymddwyn mor ddigywilydd a dryglonus at eich cymmwynaswr, yr hwn mewn modd mor haelionus a'ch croesawodd chwi?" Ar hyn rhoddasant eu hunain i fynu i gospedigaeth, mewn trefn i achub Benjamin; gan alw i gof y camwedd yr oeddynt yn euog o hono yn erbyn Joseph. Barnasant ef hefyd yn ddedwyddach na hwynt, os ydoedd wedi marw, gan fod wedi ei ryddhau oddiwrth drueni y bywyd hwn; ac os byw ydoedd, ei fod yn cael y mwyniant o weled dial Duw arnynt hwy. Dywedasant ymhellach mai poenwyr eu tad oeddynt hwy, gan iddynt yn awr chwanegu at ei ofid gynt ynghylch Joseph, y trallod hwn drachefn am Benjamin. Reubel hefyd ydoedd dra llym wrthynt ar yr achos hwn. Ond Joseph a'u hanfonodd hwy ymaith; a dywedodd nad oeddynt hwy yn euog o un trosedd, ac y boddlonai efe ar gospedigaeth y llangc yn unig; eithr nad oedd gymmwys ei adael ef i fyned yn rhydd, a chospi y rhai na throseddasant, neu eu cydgospi hwynt gyd ag ef, yr hwn a fuasai yn euog o'r lledrad. Pan addawodd gennad iddynt i fyned ymaith mewn diogelwch yr oeddynt mewn mawr derfysg meddwl, ac ni allent lefaru dim ar yr achos

* Mae 'r araith yma yn ymddangos yn rhy faith, ac yn amrywio 'n ormodol oddiwrth y testyn, i fod o gyfansoddiad Joseph ar yr achos yma. Fe ymddengys i mi yn ymadrodd areithiol cyfansoddedig o'r blaen ym mherson Judas, ac mewn ffurf o araithyddiaeth, ag oedd yn gorwedd yn ei ymyl ef; yr hon a dybiodd efe yn addas ei chynnwys ar yr achos hwn. Gwelwch ddau gyffelyb ymadrodd neu areithiad, VI. 14.

trwm yma. Ond Judas yr hwn a berswadiasai eu tad i anfon ei fab ymaith, yr hwn mewn modd arall ydoedd wr hŷ ac ymadroddgar, a anturiodd ei hun er diogelwch ei frawd, gan ddywedyd yn y modd hwn:—

Gwir yw," eb efe, "O bendefig, ein bod wedi ymddwyn yn dra beïus tu ag attat ti, ac o herwydd hynny yn haeddiannol o gospedigaeth; ïe, fe ellir ein cospi oll yn gyfiawn, er na wnaethpwyd y lledrad ond gan un o honom, a hwnnw yn ieuangaf. Etto y mae 'n aros beth gobaith gyd â ni, y rhai pe amgen a fyddem dan anobaith o'i blegid ef; a hyn sydd trwy dy dynerwch di, ag sydd yn addo gwaredigaeth i ni o'n cyfyngderau presennol. Ac yn awr yr wyf yn erfyn na fyddo i ti graffu arnom, neu ar y bai y buom yn euog o hono, ond ar dy natur ddaionus dy hun; cymmer annogaeth oddiwrth dy rinwedd dy hun, yn hytrach nag oddiwrth y llidiowgrwydd y mae eraill o waelach naturiaeth yn dneddol o gynnwys, fel ag y maent yn gwneuthur eu grymmusder; a hynny nid yn unig ar achos o bwys, ond ar achosion disylwedd. Gorchfyga, Syr, y dymmer honno; ac na ddarostynger di ganddi, ac na oddef iddi ddifetha y rhai a'r na ryfygant olygu diogelwch iddynt eu hunain, ond a ydynt yn ewyllysio ei dderbyn oddiwrthyt. Canys nid dyma y tro cyntaf i ti ei gyfrannu i ni; ond mewn amser gynt, pan ddaethom i brynu lluniaeth, ti ganiatteaist i ni fesur helaeth o hono, ac a roddaist gennad i ni ddwyn adref i'n teulu gymmaint ag a'u cadwodd hwynt rhag trengu gan y newyn. Ac nid oes fawr wahaniaeth rhwng peidio ag edrych heibio i ddynion yn dioddef diffyg angenrheidiau, a pheidio cospi rhai a fo 'n ymddangos yn droseddwyr, ac a fu mo 'r annedwydd a chael eu difuddio o'r fantais o gyfrannogi o'r rhodd ogoneddus a dderbyniasant gennyt ti. Hyn a fydd yn siampl o ffafr gyfartal, er ei chyfrannu mewn gwahanol fodd. Canys ti a achubi rai y ffordd hon, ag a borthit trwy 'r moddion eraill; a thi a gedwi yn fyw trwy hyn, o'th haelioni, yr eneidiau hynny, y rhai ni adewaist i gael eu gorchfygu gan y newyn. Y mae 'n weithred fawr o ryfeddod yn wir i gadw ein bywydau trwy gyfrannu ŷd i ni, a rhoddi maddeuant trwy yr hyn, a nyni yn awr mewn cyfyngder, y bydd parhad i ni o'r bywydau hynny. Ac yr wyf yn barod i feddwl, fod Duw yn ewyllysio caniattau i ti y cyfleustra hwn i ddangos dy dymmer rinweddol trwy ein dwyn ni i'r trallod hwn, fel yr ymddangosai y medri di faddeu y niweid a amcanir i ti dy hun, ac a ellir dy gyfrif yn dyner wrth eraill, heblaw y rhai hynny, pa rai ar gyfrifon eraill, sydd yn sefyll mewn angen o'th gynnorthwy; tra mae 'n wir yn beth iawn gwneuthur daioni i'r cyfryw ag sydd â diffyg lluniaeth arnynt; ond er hynny y mae 'n beth mwy gogoneddus i achub y rhai ag sydd yn haeddiannol o gael eu cospi, pan fyddo am fai dygn yn dy erbyn dy hun. Canys os yw yn beth haeddiannol o gymmeradwyaeth, i faddeu i rai a fo'n euog o feiau bychain, a dueddo i golledu un am ei eiddo, a'i bod yn weithred ganmoladwy i edrych heibio i'r fath droseddiadau; yna i fedru o un attal ei ddial ar droseddiadau angheuol a fo un yn euog o honynt, yw bod o gyffelyb natur ardderchog â Duw ei hunan. Ac yn wir, ymherthynas i mi fy hun, pe na buasai fod tad gennym, yr hwn ni chafodd allan yr achos o farwolaeth Joseph, pa mor druenus y trallodir ef bob amser oblegid ei feibion, ni lefaraswn ar gyfrif achub ein bywydau ein hunain: fy meddwl yw na wnaethwn hynny ym mhellach nag y buasai yn gosod allan geirda i ti dy hun, trwy achub y rhai na buasai neb yn tristâu o'u herwydd wedi eu marw: eithr nyni a foddlonasem i ddioddef pa gerydd bynnag a osodit arnom. Ond yn awr, (canys nid ydym yn pledio am drugaredd i ni ein hunain, ïe, yn wir pe byddem feirw, canys hynny a fyddai tra yr ydym yn ieuaingc, a chyn mwynhau o honom amser bywyd,) eithr y mae gennym barch i'n tad, ac yr ydym yn tosturio wrth ei henaint, ar gyfrif yr hwn yr ydym yn gwneuthur yr ymbiliau hyn attat. Yr ydym yn deisyf arnat estyn y bywydau hynny i ni, y rhai a ddarfu i'n drygioni hwn ein darostwng i haeddiant dy gospedigaeth; eithr gwna hyn er ei fwyn ef yr hwn ei hun nid yw ddrygionus; ac nid yw ei fod ef yn dad i ni yn achos o'n gwneuthur yn ddrygionus. Y mae efe yn wr da, ac nid yw deilwng o'r fath

droseddiadau ar ei amynedd; ac yn awr a ni yn absennol, efe a drallodir â gofal drosom. Ond os clyw efe am ein marwolaethau, a'r hyn a fu 'n achos o honynt, efe a fydd farw o farwolaeth ammhrydlon; a'r dull gwaradwyddus o'n dinystr ni a brysura ei ddiwedd ef, ac a'i lladd yn union-gyrch; ïe, hyn a'i dug i farwolaeth druenus, pan brysuro i ryddhau ei hun allan o'r byd, a dwyn ei hun i sefyllfa o anwybodaeth, cyn dyfod yr hanes alaethus o'n diwedd ni ar led i rannau eraill y byd.

"Ystyria bethau yn y dull yma; ac er i'n drwg weithred yn awr dy annog di i amcanu cospi ein drygioni, maddeu i ni er mwyn ein tad; a boed i'th ystyriaeth o hono ef bwyso yn drymach yn dy feddwl na 'n hanwiredd ni. Bydded gennyt barch i oedran ein tad, yr hwn os derfydd am danom ni, a fydd dra unig dros ei fywyd, ac ar fyrr a fydd farw ei hun hefyd. Caniatta y ddawn yma i enw tad, canys trwy hynny ti a'i hanrhydeddi ef yr hwn a'th genhedlodd di, ac a'i caniattäi it' dy hun hefyd, yr hwn eisoes wyt yn mwynhau y cyfryw fraint neu enw; yna wrth yr enw hwnnw ti a amddiffynnir gan Dduw, tad pawb oll; trwy berchi pa un, mewn ystyriaeth i'n tad, ymddangosi megis yn ei berchi ef yr hwn a elwir ar yr un enw. Fy meddwl yw, os dangosi dosturi y modd yma tu ag at ein tad, ar yr ystyriaeth pa mor druenus a fydd efe os ymddifadir ef o'i holl feibion. Dy ran di, gan hynny, ydyw cyfrannu i ni yr hyn a roddes Duw i ni, pan y mae yn dy feddiant ei gymmeryd ymaith, ac felly i debygoli iddo ef mewn elusengarwch. Canys da yw arfer yr awdurdod hono, pa un nis gall roddi na chymmeryd ymaith, ar du trugaredd; a phan y mae yn dy allu i ddifetha, i anghofio fod gennyt y fath allu, ac i'th olygu dy hun fel yn meddiannu gallu er cadwedigaeth; ac mai pa fwyaf a ddefnyddio neb ar ei allu y ffordd yma, mwyaf a fydd ei glod a'i barch o'i blegid. Yn awr wrth faddeu i'n brawd yr hyn yn anhapus a wnaeth efe, ti a'n hachubi oll. Canys nis gwyddom pa fodd y byddwn fyw, os dodir ef i farwolaeth, gan na feiddiwn ymddangos i'n tad heb ei fod ef gyd â ni. Ond yma rhaid i ni gyfrannogi o'r un digwyddiad annedwydd. Ac mor bell a hyn yr ydym yn erfyn arnat ti, O lywodraethwr, os condemni ein brawd i ddioddef marwolaeth, ar farnu o honot ninnau gyd ag ef fel cyfrannogion o'r un bai; canys nis gallwn ei farnu yn rhesymmol ein harbed i gael ein lladd â gofidiau am farwolaeth ein brawd, ond yn hytrach i farw fel rhai dan gydradd o euogrwydd ag ef ymherthynas i'r ddrwg-weithred hon. Mi adawaf yn unig yr un ystyriaeth hon gyd â thi, ac yna ni lefaraf ychwaneg; sef, ddarfod i'n brawd ddyfod yn euog o'r bai yma yn ei ieuengctyd, ac heb fod o gadarnhaol gallineb yn ei ymddygiadau, a bod dynion o naturiaeth yn arferol o faddeu i'r cyfryw ieuengctid. Ac yr wyf yn diweddu yma, heb chwanegu yr hyn allwn ymhellach ei ddywedyd; fel ag os bydd i ti ein condemnio ni, y cyfrifir yr hyn a adawyd yn ol yn niweidiol i ni, ac yn rhoddi i ti achlysur i dueddu at ymddygiad creulon. Ond os gogwyddi at ein gosodiad yn rhydd, cyfrifir hyn i dy ddaioni; o'r hyn yr wyt yn dufewnol gydwybodol, dy fod yn ein rhyddhau oddiwrth gondemniad; a hynny nid yn unig trwy ein hachub, ond trwy ganiattau y fath ffafr i ni ag a'n gwna i ymddangos yn gyfiawnach nag mewn gwirionedd yr ydym; a thrwy arddangos it' dy hun fwy o annogaethau er ein gwaredigaeth, nag a fedrwn ddwyn ger bron ein hunain. Os ymroddi gan hynny i'w ddifetha ef, dymunaf it' fy nifetha i yn ei le, a'i anfon ef yn ol at ei dad; neu os wyt yn dewis ei gadw gyd â thi fel caethwas, yr wyf fi yn gymmwysach i lafurio er mantais i ti yn y sefyllfa hono, ac, fel y gweli, yr wyf wedi fy nghymmwyso yn fwy i'r amrywiol ddioddefiadau hynny."* Felly a Judas yn dra ewyllysgar i fyned trwy unrhyw anhawsdra er gwaredigaeth ei frawd, a fwriodd ei hun i lawr wrth draed Joseph, ac a ymdrechodd yn fawr i leihau a llonyddu ei ddigter. Ei holl frodyr hefyd a syrthiasant

* Yn yr holl araith hon o eiddo Judas, sylwiwn, fod Josephus yn golygu marwolaeth yn gosp ddyledus am ledrad yn yr Aipht, yn nyddiau Joseph; er nad ydoedd un amser felly ym mysg yr Iuddewon, dan gyfraith Moses.

o'i flaen, gan wylofain a rhoddi eu hunain i fynu i gael eu difetha, er cadwedigaeth eu brawd Benjamin.

Joseph yn awr wedi ei orchfygu gan ei serchowgrwydd, ac heb allu yn hwy bersonoli gwr digllon, a orchymmynodd i bawb ag oedd yn bresennol ymadaw, fel y gwnelai ei hun yn adnabyddus i'w frodyr pan fyddent yn unig.* A phan oedd eraill wedi cilio ymaith, efe a amlygodd ei hun, ac a ddywedodd, "Yr wyf yn eich cymmeradwyo am eich rhinwedd, ac am eich caredigrwydd i'ch brawd; yr wyf yn eich cael yn well dynion nag a allwn ddisgwyl eich bod oddiwrth yr hyn a fwriadasoch ymherthynas i mi. Yn wir hyn i gyd a wnaethum â chwi i brofi eich cariad tu ag at eich brawd. Felly yr wyf yn credu nad oeddych yn ddrwg o naturiaeth ymherthynas i'r hyn a amcanasoch i mi; ond fod y cwbl wedi digwydd yn ol ewyllys Duw; yr hwn trwy hynny a drefnodd ein mwynhad o'r cyfryw bethau daionus sydd gennym, a thrwy barhad o'i ddaioni tu ag attom, o'r hyn a ddisgwyliwn dros amser i ddyfod. Wedi i mi ddeall, gan hynny, fod ein tad yn ddiogel ac yn iach, tu hwnt i ddisgwyliad; a chan eich gweled o dymmer mor dirion tu ag at eich brawd, ni chofiaf mwyach pa ryw euogrwydd a ymddangosai fod ynoch ymherthynas i mi; ond yn hytrach a ddychwelaf fy niolchgarwch i chwi, ddarfod i'ch gweithred yn fy anfon i'r Aipht gyd redeg â bwriad Duw i ddwyn o amgylch bethau megis ag y maent yn bresennol. Cynghoraf chwi bellach i anghofio 'r ymddygiad hwnnw tu ag attaf, gan ddigwydd y canlyniad mor ddedwydd, yn hytrach na therfysgu a chywilyddio oblegid eich troseddiadau. Na adewch gan hynny i'ch drwg fwriad tu ag attaf pan werthasoch fi, a'r chwerwder cydwybod a allasai ddilyn yn ol hynny, yn awr eich gofidio chwi; gan ddarfod i'r amcanion hynny gael eu lluddias. Ewch ymaith i'ch ffordd gan lawenychu yn yr hyn a ddigwyddodd trwy ddwyfol ragluniaeth, a gwnewch eich tad yn hyspys o hono, rhag ei wanhau oblegid ei ofal trosoch, a'm difuddio o'r rhan fwyaf boddlongar o'm dedwyddwch; fy meddwl yw rhag darfod am dano ef cyn ei ddyfod i'm golwg, a chyfrannu o'r daioni yr ydym ni yn awr yn ei fwynhau. Cymmerwch, gan hynny, ein tad, a'ch gwragedd, a'ch plant, a'ch holl berthynasau, a symmudwch eich trigfan yma; canys nid iawn ydyw i bersonau ag sydd mor anwyl gennyf i aros mor bell oddiwrthyf, gan fod fy amgylchiadau yn awr mor gyssurus; ac yn enwedig tra mae ganddynt bum mlynedd ychwaneg i ddioddef o newyn." Wedi i Joseph lefaru hyn, efe a gofleidiodd ei frodyr, y rhai oeddynt yn wylo ac mewn dagrau; ond caredigrwydd a haelioni eu brawd ni roddodd le iddynt ofni cospedigaeth ganddo am eu creulondeb mewn amseroedd gynt; eithr yn awr hwy a gyd-wleddasant ag ef. Yn awr y brenin, mor fuan ag y clybu fod brodyr Joseph wedi dyfod atto ef, ydoedd lawen iawn ganddo, megis pe buasai 'n rhan o'i ddedwyddfyd ei hun; ac efe a roddes iddynt fenni yn llawn o ŷd, ynghyd ag aur, ac arian i'w dwyn gyd â hwynt i'w tad. Yn awr wedi derbyn ychwaneg gan eu brawd; rhan i'w tad, a rhan iddynt hwy megis rhad roddion i bob un, ac i Benjamin yn rhagorach na 'r lleill, hwy a ymadawsant ymaith.

## PENNOD VII.

*Am symmudiad Jacob a'i holl Deulu i'r Aipht, o herwydd y Newyn.*

MOR fuan ag y gwybu Jacob yn ol dychweliad ei feibion adref, ym mha gyflwr yr oedd Joseph; ei fod nid yn unig wedi diangc rhag marwolaeth, ond yn byw mewn disgleirder a happusrwydd; ac, ynghyd â'r brenin, yn llywodraethu holl wlad yr Aipht; a bod wedi ymddiried iddo ynghylch ei holl achosion ef, ni farnodd fod dim a ddywedid iddo am dano yn anghredadwy, wrth ystyried mawrder gweithredoedd Duw a'i ddaioni iddo ef; er i'r daioni hwnnw er 's amser yn ol ymattal oddiwrtho. Felly efe 'n awyddus ac yn ddioed a ymosododd allan ar ei siwrnai atto ef.

Pan ddaeth at ffynnon y llw, Beersheba, efe a offrymmodd aberth i Dduw;† a chan ofni

* Gen. xlv. 1.

†Gen. xlvii. 1.

rhag i'r dedwyddwch oedd yn yr Aipht demtio ei hiliogaeth i gwympo mewn serch â hi, ac ymsefydlu ynddi, ac heb feddwl yn rhagor ymsymmud i dir Canaan, a'i etifeddu yn gyfattebol i addewid Duw; a chan ofni hefyd rhag i'w ddisgyniad i'r Aipht gael ei wneuthur heb ei ewyllys ef, iddynt yno gael eu difetha; a chan ofni rhag ymadaw o hono â'r bywyd hwn cyn cael golwg ar Joseph, efe a syrthiodd i drymgwsg, gan dreiglo yn ei feddwl yr ammheuon hyn.

Ond Duw a safodd yn ei ymmyl, ac a alwodd ddwywaith arno erbyn ei enw: ac wedi gofyn iddo pwy ydoedd? Duw a ddywedodd, "Nid iawn ydyw i ti Jacob ymofyn am wybod pwy yw y Duw hwnnw, yr hwn a fu yn wastad yn amddiffynnwr ac yn gynnorthwywr i'th deidiau, ac ar eu hol hwynt i ti dy hunan. Canys pan fynnai dy dad dy ddifuddio di o'r llywodraeth, myfi a'i rhoddes i ti; a thrwy fy naioni i yr ydoedd pan anfonwyd ti yn unig i Mesopotamia, y croesawyd di yno, i'th briodwyd â gwragedd rhinweddol, ac y dychwelaist yn ol gyd â theulu lluosog, ac â chyfoeth lawer. Dy deulu oll hefyd a gadwyd trwy fy rhagluniaeth i; ac myfi a arweiniais Joseph dy fab, yr hwn a roddaist di i fynu am un wedi ei gyfrgolli, i fwynhad o fawr lwyddiant. Myfi hefyd a'i gosodais yn llywydd yr Aipht, fel nad ellir ei wahaniaethu ond ychydig oddiwrth frenin. Yn ganlynol yr wyf yn dyfod yn awr yn arweinydd i ti yn y daith hon, ac i ragfynegi y cai di farw ym mreichiau Joseph, ac y bydd dy hiliogaeth dros amryw oesoedd mewn awdurdod ac anrhydedd; a myfi a'u hail-sefydlaf yn y tir a addewais iddynt."

Wedi ei gefnogi gan y breuddwyd hwn, Jacob a aeth ymaith yn fwy siriol tu a'r Aipht, gyd â'i feibion, a'r hyn oll a berthynai iddynt. Yn awr yr oeddynt oll mewn rhifedi yn ddeg a thrugain. Meddyliais yn oreu ar y cyntaf i adael o'r neilldu enwau y teulu hwn; yn bendifaddau o herwydd yr anhawsdra o'u hiawn swnio gan y Groegiaid. Ond ar y cyfan, yr wyf yn ei farnu yn angenrheidiol i'w crybwyll hwynt, fel y gwrthddywedwyf y sawl ag sydd barod i gredu nad oedd ein tarddiad cyntaf ni o Mesopotamia, ond mai Aiphtiaid ydym.

Yn awr yr ydoedd i Jacob ddeuddeg o feibion: o'r rhai Joseph a ddaethai yma ym mlaen; nyni gan hynny a osodwn i lawr enwau plant ac wyrion Jacob. I Reubel yr ydoedd pedwar mab; Anoch, Phalu, Assaron, a Charmi. I Simeon yr ydoedd chwech; Jamuel, Jamin, Avod, Jachin, Soar, a Saul. Gan Lefi yr ydoedd tri mab; Gersom, Caath, a Merari. Judas ydoedd ganddo dri o feibion; Sala, Pharez, a Zerab; ac o Pharez dau o wyrion, Esrom ac Amur. I Isachar yr ydoedd pedwar o feibion; Thola, Phua, Jasub, a Samaron. Gyd â Zabulon yr ydoedd tri mab, Sarad, Helon, a Jalel. Cyn belled a hyn y cyrraedd hiliogaeth Lea, gyd â'r rhai y cyfrifir ei merch Dina. Nifer y rhai hyn ydynt dri ar ddeg ar hugain.—I Rachel yr ydoedd dau o feibion; un o ba rai, sef Joseph, ydoedd ag iddo ddau fab hefyd, Manasse ac Ephraim. I'r llall, sef Benjamin, yr ydoedd deg o feibion; Bolau, Bacchar, Asabel, Geras, Naaman, Jes, Ros, Momphis, Opphis, ac Arad. Y pedwar ar ddeg hyn wedi eu chwanegu at y tri ar ddeg ar hugain, a enwyd eisioes, sydd yn gwneud i fynu saith a deugain: y rhai hyn oedd gyfreithlon hiliogaeth Jacob. Bu iddo heblaw hyn o Bilha, llaw-forwyn Rachel, Dan a Naphtali, y diweddaf o ba rai a fu iddo bedwar o feibion a'i dilynasant ef, Jesel, Guni, Issari, a Sellim. Dan ydoedd ag iddo unig-anedig fab, Usi. Os chwanegir y rhai hyn at y rhai a grybwyllir uchod, gwnant i fynu y rhifedi o bedwar ar ddeg a deugain. Gad ac Aser oeddynt feibion Zilpha, yr hon ydoedd law-forwyn Lea.—I Gad y ganwyd y saith mab canlynol; Saphonia, Augis, Sunis, Azabon, Aerin, Eroed, ac Ariel. I Asser yr oedd merch a elwid Sara, a chwech o blant gwrrywiaid, enwau y rhai ydoedd Jomue, Isus, Isoni, Baris, Abar, a Melchiel. Wrth chwanegu yr enwau hyn, pa rai ydynt un ar bymtheg, at y pedwar ar ddeg a deugain, cyflawnant ynghyd y nifer crybwylledig o ddeg a thrugain, a Jacob* ei hun heb fod o'u nifer hwynt.

* Yr holl gopiau Groegaidd o waith Josephus sydd â gorair naccaol yma, yn arwyddo na chyfrifid Jacob ei hun ym mhlith y deg a thrugain o eneidiau a ddaethant i'r Aipht. Ond yr hen gopiau Lladinaidd ydynt yn fyrr o hynny ac sydd yn union-gyrch yn ein sicrhau ei fod ef yn un o

Pan ddeallodd Joseph am ddyfodiad ei dad, canys Judas ei frawd a aethai i wared o'i flaen, yr hwn wedi hyspysu fod ei dad yn agoshau, efe a aeth allan i gyfarfod ag ef, a chyd-gyfarfuant â'u gilydd yn Heroopolis. Ond bu agos i Jacob fyned mewn llesmair wrth y llawenydd mawr ac annisgwyliadwy hwn; pa fodd bynnag Joseph a'i hadfywiodd, er yn analluog ei hun i ymattal rhag ei gyffroi yn yr un ddull. Etto ni lwyr orchfygwyd ef gan gynnyrfiadau ei feddwl megis ei dad. Ar ol hyn efe a ddymunodd ar ei dad ymdaith ym mlaen yn arafaidd, pan y cymmerodd efe bump o'i frodyr gyd ag ef, ac a frysiodd at y brenin, gan amlygu iddo fod Jacob a'i deulu wedi dyfod i breswylio gyd ag ef. Yr oedd hyn yn hyfryd gan Pharaoh ei glywed, yr hwn a barodd i Joseph fynegi iddo pa fath ryw gelfyddyd yr oedd ei frodyr yn arferol o ddilyn, fel y gallai efe roi caniattâd iddynt i ymarfer yr unrhyw. Dywedodd mai bugeiliaid da oeddynt, ac na arferasant un swydd arall: oblegid hyn efe a drefnodd le neillduol iddynt fel na wahanent, ond fel y byddent fyw ynghyd, a chymmeryd gofal am eu tad; megis hefyd wrth hyn efe a drefnodd iddynt fod yn gymmeradwy gan yr Aiphtiaid, trwy wneuthur dim ag a fyddai 'n gyffredin iddynt hwy a'r Aiphtiaid i gyd ymdrin ag ef; canys gwaherddir * i'r Aiphtiaid borthi defaid.

Wedi dyfod Jacob o flaen y brenin, a'i gyfarch ef, a dymuno pob llwyddiant i'w lywodraeth, Pharaoh a ofynnodd pa mor oedrannus ydoedd? Ar attebiad pa un, ei fod yn gant a deng mlynedd ar hugain o oedran, efe a ryfeddodd wrth Jacob ar gyfrif amldra blynyddau ei fywyd. Ac wedi atteb o hono ef na chyrraeddasai i oedran ei dadau, y brenin a roddes gennad iddo i gyd fyw â'i deulu yn Heliopolis; canys yn y ddinas honno yr oedd porfeydd bugeiliaid y brenin.

Y newyn a gynnyddodd yn awr ym mhlith yr Aiphtiaid, a'r farn drom hon a dyfodd yn fwy gorthrymmus iddynt, oblegid nad oedd yr afon yn llifeirio dros eu tiroedd, nac yn codi i'w chynnefin uwchder, ac ni wlawiodd † Duw ar ei chyffiniau. Ni wnaethant hefyd yn wir unrhyw arlwy iddynt eu hunain, gan mor anwybodus oeddynt pa beth i'w wneuthur. Eithr Joseph a werthodd ŷd iddynt am eu harian; a phan ddarfyddodd eu harian, hwy a brynasant ŷd â'u hanifeiliaid, ac â'u caeth-weision; a'r sawl o honynt oedd a darn o dir ganddynt, hwy a roddent hynny i fynu i bwrcasu lluniaeth. Trwy ba foddion y daeth y brenin yn bercheunog eu holl eiddo; a hwy a symmudasant rai i un lle, ac eraill i le arall, fel trwy hynny y byddai i feddiant cyffredin o'u gwlad gael ei sicrhau i'r brenin, oddigerth y rhannau hynny o'r tir a berthynent i'r offeiriaid; canys eu rhan hwy o'u gwlad ydoedd i aros yn barhaus yn eu meddiant. Ac yn wir y newyn trwm yma a barodd eu meddyliau yn gystal a'u cyrph yn gaethiwus; ac o'r diwedd a'u cymmellodd i bwrcasu digonolrwydd o luniaeth trwy 'r fath foddion anwiwglod. Ond wedi i'r cyfyngder hwn fyned drosodd, a'r afon lifeirio dros y tir, a'r ddaear ddwyn allan ei ffrwythau yn helaethlawn, Joseph a ddaeth i bob dinas, gan gynnull y bobl a berthynent iddi oll ynghyd, ac a adferodd eu tiroedd yn gwbl iddynt, y rhai trwy eu cydsyniad eu hunain a werthasent, ac a ellid eu meddiannu, ynghyd â'u ffrwythau, rhagllaw gan y brenin. Efe hefyd a'u hannogodd i'w golygu fel yr eiddo eu hunain; i adnewyddu eu llafur hwsmonaethol arnynt gyd â sirioldeb; ac i dalu megis teyrnged i'r goron y bummed ‡ ran o'r ffrwythau am y

honynt. Mae 'n ansicr, gan hynny, pa un o'r rhai hyn yw 'r iawn ddarlleniad o Josephus, yn gymmaint ag y gwneir y nifer deg a thrugain i fynu hebddo ef, os cyfrifwn Lea yn un; ond os na roddir hi i mewn, Jacob ei hunan sydd raid ei fod yn un i gyflawni y nifer. D. S. Y LXX. a chwanegant Machir, a Gilead, a Satelaam, Taom, ac Edem, y rhai a anwyd yn yr Aipht, ac felly sydd ganddynt oll bymtheg a thrugain o eneidiau: megis yn Act. vii. 14.

* Josephus a feddyliodd fod yr Aiphtiaid yn cashau neu 'n dirmygu y swydd o fugeilio yn nyddiau Joseph. Ond yr Esgob Cumberland a ddangosodd, gashau o honynt y fath fugeiliaid Phoenisiaidd neu Ganaaneaidd, ac a hir gaethiwodd yr Aiphtiaid yn yr hen amseroedd. Gwel ei Sanchoniâth, tu dal. 361---362.

† Y mae Reland yma yn ymofyn, pa fodd y gallai Josephus wneuthur achwyniad na wlawiasai ddim yn yr Aipht dros holl amser y newyn, pan y mae 'r hynafiaid yn sicrhau nad yw un amser yn gwlawio yno yn naturiol. Ei attebiad yw, mai pan y mae 'r hynafiaid yn gwadu ei bod yn gwlawio yn yr Aipht, y maent yn unig yn meddwl yr Aipht uchaf, uwchlaw Delta, yr hon a elwir yr Aipht yn yr ystyr gyfyngaf; ond yn Delta, ac yn gaulynol yn yr Aipht ag sydd yn gyssylltiedig â hi, yr ydoedd yn yr hen amser, ac y mae hyd yn bresennol yn gwlawio ar brydiau. Gwel nôd ar III. 1.

‡ Josephus sydd yn dychymmygu ddarfod i Joseph yn awr adferyd eu tiroedd drachefn i'r Aiphtiaid, ar eu taliad o'r bummed ran megis teyrnged i'r brenin. Fe ymddengys yn hytrach i mi fod y tir yn cael ei ystyried yn awr yn eiddo Pharaoh, a'r bummed ran yma megis rhent neu ardreth i'w talu iddo ef, fel eu harglwydd, a hwythau yn ddeiliaid iddo; ac na adferwyd y tiroedd yn hollol, ond i'r bummed ran gael ei chadw i fynu fel teyrnged yn unig, hyd ddyddiau Sesortris.

tir a ddarfu i'r brenin, pan yn eiddo iddo ei hun, ei adferyd iddynt. Y gwŷr a lawenychasant ar eu dyfodfa annisgwyliadwy i feddiant drachefn o'u tiroedd, ac a ddyfal sylwiasant ar yr annogaethau a'r rheolau a osodwyd iddynt. A thrwy 'r moddion hyn Joseph a ennillodd iddo ei hun barch ac awdurdod mawr ym mhlith yr Aiphtiaid. Yn awr y gyfraith hon, ar fod iddynt dalu y bummed ran o'u ffrwythau fel teyrnged, a barhaodd hyd amser y diweddaf o'u brenhinoedd.

## PENNOD VIII.

### *Am Farwolaeth Jacob a Joseph.*

WEDI byw o Jacob ddwy flynedd ar bymtheg yn ol ei ddisgyniad i'r Aipht, efe a syrthiodd mewn trwm glefyd, ac a fu farw yngolwg ei feibion; eithr nid cyn gwneuthur o hono ei weddiau dros eu llwyddiant; a rhagddywedyd, mewn dull brophwydoliaethol, am sefyllfa pob un o honynt yng ngwlad Canaan, ag a ddigwyddodd ym mhen llawer o flynyddau yn ol hynny. Efe hefyd a ymhelaethodd * ar ganmoliaeth Joseph; y modd na chofiasai efe am ddrwg-weithred ei frodyr er anfantais iddynt; ïe, yn y gwrthwyneb, fel y buasai gymmwynasgar tu ag attynt; gan gyfrannu cynnifer o roddion er eu cynnaliaeth a'u cyssur ac sydd yn anfynych yn cael eu hestyn gan rai o'r haelioni pennaf. Yna efe a orchymmynodd i'w feibion ei hun am ganiattâu o honynt i feibion Joseph, Ephraim a Manasse, ddyfod i mewn i'w nifer hwynt; a dosparthu gwlad Canaan yn gyffredin rhyngddynt; ymherthynas i ba rai y cawn draethu yn ol llaw. Pa fodd bynnag efe a wnaeth ei ddymuniad ar gael o hono ef ei gladdu yn Hebron. Felly efe a fu farw; wedi byw o hono un cant a saith a deugain o flynyddoedd; † heb fod yn îs radd na'i hynafiaid yn ei ffyddlondeb tu ag at Dduw; a chanddo obaith am y fath wobr ag oedd addas i'r sawl a fucheddent mor dda a hwynt hwy. Joseph trwy ganiattad y brenin, a ddug i fynu gorph ei dad i Hebron, ac yno a'i claddodd mewn dull tra chostfawr. Ond ei frodyr ar y cyntaf oeddynt anewyllysgar i ddychwelyd yn ol gyd ag ef; o herwydd eu bod yn ofni rhag wedi marw eu tad y cospid hwynt am eu hymarferiadau drygionus gynt yn erbyn eu brawd, gan ei fod ef wedi ei symmud ymaith, er mwyn pa un y buasai mor raslawn tu ag attynt. Efe, pa fodd bynnag, a'u perswadiodd i beidio ag ofni dim niweid, ac na chynnwysent ddim drwg-feddyliau am dano ef; felly efe a'u dug hwynt yn ol gyd ag ef, ac a roddodd feddiannau mawrion iddynt, ac yn barhaus a amlygodd y gofal mwyaf drostynt. ‡

Joseph hefyd a fu farw wedi iddo fyw gant a deg o flynyddoedd, yn ddyn o rinweddau mawrion; yr hwn a ddygodd ei holl achosion ym mlaen yn ol rheolau rheswm, ac a ddefnyddiodd ei awdurdod mewn dull cymmedrol, yr hyn a fu'n achos o'i gymmeradwyaeth a'i ddedwyddwch mawr ym mhlith yr Aiphtiaid; ïe er ei ddyfodiad o wlad arall, a hynny mewn amgylchiadau mor annymunol ag a ddarfu i ni eisoes ei ddesgrifio. Ym mhen amser ei frodyr a fuant feirw hefyd, wedi oesi yn ddedwyddol yn yr Aipht. Yn awr meibion a hiliogaeth y gwŷr hyn wedi i amser fyned heibio, a ddygasant eu cyrph ymaith, ac a'u claddasant § yn Hebron. Eithr am esgyrn Joseph, hwy a'u dygasant gyd â hwy pan aeth yr Hebreaid allan o'r Aipht; ‖ canys felly y gwnaethai Joseph iddynt addaw trwy lw. Ond pa beth a ddamweiniodd i'r dynion hyn, a thrwy ba lafur ac anhawsdra yr ynnillasant wlad Canaan, a ddangosir yn ol hyn, pan ddelwyf i egluro ar ba gyfrif yr ymadawsant â gwlad yr Aipht.

---

* Am y canmoliaeth yma i Joseph, fel rhagflaeniad o fabwysiad Ephraim a Manasse gan Jacob i'w deulu ei hun, a'u derbyniad i mewn i ddau o'i lwythau, ag y mae Josephus yn crybwyll am danynt; ein holl gopiau o Gen. sydd yn ei esgeuluso, pen. xlviii. ac nis gwyddom pa le y cafodd ef; neu pa un ai ei addurniad ef ei hun ydyw.

† Gen. xlvii. 28. ‡ Gen. l. 21.

§ Am gladdfeydd Joseph, ac eraill o'r Patriarchiaid, fel yr iawn osodir i lawr yma, gwel Test. Simeon, § 8. Test. Benjamin, § 12, gyd â'r Nod yn Anthen. Rec. Rhan. I. t. d. 415, 416.

‖ Exod. xiii. 19. Act. vii. 16.

## PENNOD IX.

*Am y Trallodion a oddiweddodd yr Hebreaid yn yr Aipht, dros Bedwar Cant o Flynyddau.*†

YN awr fe ddigwyddodd ddarfod i'r Aiphtiaid dyfu yn foethus ac yn ddioglyd, a rhoddi eu hunain i fynu i ddifyrrwch, ac yn enwedig i garu elw. Aethant hefyd yn dra angharedig i'r Hebreaid, gan deimlo cynfigen tu ag at eu llwyddiant hwy; canys pan welsant y modd yr oedd cenedl yr Israeliaid yn blodeuo, ac wedi myned eisoes yn enwog mewn cyfoeth, yr hyn a ynnillasant trwy eu rhinwedd a'u tuedd naturiol at ddiwydrwydd; tybiasant fod eu cynnydd yn beryglus ac yn niweidiol iddynt hwy; ac ym mhen hir amser wedi anghofio 'r gymmwynas a gawsent oddiar law Joseph, ac yn neillduol o herwydd fod y goron wedi ei throsglwyddo yn awr i deulu arall, ‡ aethant yn haerllug wrth yr Israeliaid, ac a ddyfeisiasant amryw ffyrdd i'w cystuddio hwynt; gosodasant hwy i dorri ffosydd lawer o'r afon, ac adeiladu muriau o amgylch eu dinasoedd, fel yr attalient yr afon, ac i rwystro ei dyfroedd i gronni a throi 'n llynnau, wedi llifo dros ei cheulannau: gosodasant hwy hefyd i adeiladu Pyramidiau,‡ ac â hyn i gyd y treuliasant eu nerth, a dysgasant hwy i arferyd pob math o gelfyddydau a thrwm lafur; a hwy a barhausant bedwar can mlynedd dan y cystuddiau hyn; canys hwy a ymrysonasant y naill yn erbyn y llall, gan ymdrechu i gael yr oruchafiaeth ar eu gilydd: yr Aiphtiaid yn ewyllysio difetha yr Israeliaid trwy lafurio yn galed danynt hwy; a'r Israeliaid yn chwennychu dal allan i'w gwasanaethu hwy hyd y diwedd.

Tra 'r ydoedd amgylchiadau'r Hebreaid yn y dull blinderus hwn, yr achlysur hwn a ymgynhygiodd ei hun i'r Aiphtiaid, yr hyn a'u gwnaeth yn fwy awyddus i ddiffodd ein cenedl. Un o'rysgrifenyddion § cyssegredig hyn, ag sy 'n dra chyfarwydd i fedru rhagfynegi pethau hynod i ddyfod, a ddywedodd wrth y brenin, mai ynghylch yr amser hwnnw y genid plentyn i'r Israeliaid; yr hwn, os dygid i fynu a dynnai lywodraeth yr Aiphtiaid i raddau isel, ac a ddygai 'r Israeliaid i oruchafiaeth: y rhagorai ar bob dynion mewn rhinwedd; yr ynnillai glod a fyddai mewn coffadwriaeth ym mhob oesoedd; yr hyn beth a ofnwyd mor fawr gan y brenin, fel, wrth dystiolaeth y gwr hwn, efe a orchymmynodd fod i bob plentyn gwrryw a enid i'r Israeliaid gael eu bwrw i'r afon a'u difetha; a bod heblaw hyn, i'r bydwragedd ‖ wylio y gwragedd Hebreaidd yn eu hesgoreddfa, pa ryw blant a enid; canys y bydwragedd hyn a orchymmynwyd i gyflawni swydd bydwragedd iddynt, ac oblegid eu perthynas â'r brenin na throseddent ei orchymmynion ef. Gorchymmynodd hefyd os anufuddhai neb rhyw rïeni iddo ef, ac anturio cadw eu plant gwrrywaid yn fyw, fod iddynt hwy a'u teulu gael eu difetha. Yr oedd hwn yn gystudd mawr yn wir i'r rhai a'i goddefent, nid yn unig fel yr ydoedd yn eu hamddifadu o'u meibion, a thra 'r oeddynt eu hunain yn rhïeni, yr oeddynt yn ddarostyngedig i ddistrwio eu plant eu hunain, fel ag y tybid ei fod yn tueddu i ddiddymmu eu cenedl; tra ar ddistrywiad eu plant, a'u graddol ymddattodiad eu hunain, y byddai eu hadfyd yn eithaf digyssur a gorthrymmedig. Y cyfryw ydoedd eu cyflwr echrydus y pryd hyn; ond ni ddichon

---

* Ymherthynas i gystuddiau had Abraham am 400 o flynyddau, gwel I. 10. Ac ymherthynas i ba ddinasoedd a adeiladasant yn yr Aipht dan Pharaoh Sesortris, a'r modd y boddwyd y Pharaoh hwnnw yn y mor coch.---Gwel Essay, neu fyrr Draethawd ar yr hen Dest. tu dal. 159---162. † Exod. i. 8.

‡ Ynghylch adeiladaeth y pyramidiau hyn yn yr Aipht gan yr Israeliaid, gwel Perizonius Orig. Egyptiac, pen. 21. Nid ydyw yn ammhosibl ddarfod iddynt adeiladu un neu ychwaneg o'r rhai lleiaf, ond y rhai mwyaf sy 'n ymddangos wedi eu gwneud yn llawer diweddarach. Yn unig os o feini y gwnaed hwynt, nid yw yn cyttuno â llafurwaith yr Israeliaid, yr hyn a ddywedir ei fod mewn priddfeini, ac nid o gerrig, fel y mae Mr. Sandys yn sylwi yn ei deithiau, t. d. 127, 128.

§ Y mae Dr. Bernard yn hyspysu i ni yma, mai yn lle 'r offeiriad unigol hwn, neu brophwyd yr Aiphtiaid, pa un sydd heb enw yn Josephus, y mae Targum Jonathan yn enwi dau wrthwynebwyr hynod i Moses, Jannes a Jambres; ac nid yw oll yn anhebygol, mai un o'r rhai hyn a allai fod wedi rhagddywedyd am gymmaint o aflwyddiant ar yr Aiphtiaid, ac am gymmaint o lwyddiant ar yr Israeliaid, trwy ddygiad Moses i fynu.

¶ Mae Josephus yn eglur ddeall mai Aiphtiaid ydoedd y bydwragedd hyn, ac nid Israeliaid, megis y mae yn ein copiau neu 'n llyfrau eraill ni, yr hyn sydd dra thebygol, gan nad hawdd yw meddwl yr ymddiriedai Pharaoh i'r bydwragedd o Israeliaid am gyflawni gorchymmyn mor farbaraidd yn erbyn eu cenedl eu hun. Cydmarwch, gan hynny, a diwygiwch rhagllaw ein hysgrifeniadau cyffredin. Exod. i. 15---22; ac yn wir fe ymddengys fod Josephus yn feddiannol o ysgrif gyflawnach o'r Pentateuch, neu goffadwriaethau credadwy eraill, ynghylch genedigaeth a gweithredoedd Moses, nac y mae ein Biblau Hebreaidd, Samaritanaidd, neu Roegaidd, yn ei ganiattau i ni; yr hyn a'i galluogodd i lefaru mor helaeth ac yn neillduol ym mherthynas iddo ef.

neb wrthsefyll amcanion Duw, er dychymmygu deng mil o ddichellion i'r diben hynny; canys y plentyn hwn, am ba un y rhagddywedodd yr ysgrifenydd, cyssegredig a ddygwyd i fynu, ac a gadwyd yn guddiedig oddiwrth sulw y gwylwyr a osodwyd gan y brenin; a'r hwn a ragddywedasai iddo am dano, ni chamgymmerodd yn y canlyniadau o'i waredigaeth, yr hyn a ddygwyd o amgylch trwy drefn dra neillduol:—

Gwr a'i enw Amram, un o ardderchogion yr Hebreaid, ag oedd yn ofni diddymmu eu cenedl trwy ddiffyg o wŷr ieuaingc i gael rhagllaw eu dwyn i fynu, ac yr oedd yn dra anesmwyth o'i herwydd, gan fod ei wraig y pryd hynny yn feichiog, ac ni 's gwyddai pa beth i'w wneuthur; ar hyn efe a ymroddodd i weddio Duw, ac a ymbiliodd ar iddo dosturio wrth y dynion na throseddasai'r cyfreithiau perthynol i'w addoliad, a chaniattau iddynt waredigaeth o'r trallodau ag oeddynt y pryd hynny danynt, ac aflwyddo gobaith eu gelynion am ddifethiad eu cenedl. Yn ganlynol, Duw a gymmerodd drugaredd arno, ac a gynhyrfwyd drwy erfyniadau y gwr hwn: safodd gerllaw iddo yn ei gwsg, ac a'i hannogodd i beidio anobeithio am ei ffafr mewn amser i ddyfod. Dywedodd ymhellach nad oedd yn anghofio eu ffyddlondeb tu ag atto ef, ac a'u gwobrwyai yn gyfannedd o'i herwydd; fel y caniattaodd ei fendithion gynt i'w tadau, gan beri iddynt o ychydig gynnyddu yn lliaws mawr. Dug ar gof iddo y modd y daeth Abraham yn unig o Mesopotamia i dir Canaan, ac y bu fyw yno yn ddedwydd; nid yn unig mewn perthynas i bethau eraill, ond pan ydoedd ei wraig dros hir amser yn ammhlantadwy, galluogwyd hi ganddo ef yn ol hynny i ymddwyn had, ac i esgor ar feibion; a darfod iddo adael i Ismael, a'i hiliogaeth wlad Arabia; ac yn yr un modd hefyd i'w feibion o Cetura, Troglodytis; ac i Isaac, gwlad Canaan. "Trwy fy nghymmorth i," eb efe, "gwnaeth orchestion mawr mewn rhyfel, yr hyn, oddigerth eich anystyriaeth, yr ydych gan mwyaf yn ei wybod. Am Jacob yr ydoedd yn dra adnabyddus i ddieithraid hefyd, trwy helaethrwydd y llwyddiant ym mha un yr ydoedd yn byw, ac a adawodd i'w feibion o'i ol, y rhai a ddaethant i'r Aipht, heb fod yn ychwaneg o rifedi na deng enaid a thriugain; pan y mae eich nifer yn awr wedi dyfod uwchlaw chwe chant o filoedd. Gwybyddwch gan hynny, y bydd i mi arlwyo drosoch oll yn gyffredin yr hyn a fyddo er eich llesâd, ac yn enwedig trosot dy hun fel i'th hynoder ym mysg eraill; canys y plentyn, trwy ofn pa un y barnodd yr Aiphtiaid fechgyn bychain yr Israeliaid i gael eu difetha, a fydd dy fab hwn, pa un a fydd guddiedig oddiwrth y rhai sydd yn gwilio i'w ddifetha; a phan ddyger ef i fynu, trwy ffordd hynod ac anarferol, efe a wared genedl yr Hebreaid oddiwrth y cyfyngder y maent dano gan yr Aiphtiaid. Ei enw a fydd glodfawr tra parhao'r byd; a hynny nid yn unig ym mhlith yr Hebreaid, ond pobl dramor hefyd; yr hyn oll a fydd effaith fy ewyllys da i ti, ac i'th holl hiliogaeth. Bydd hefyd y fath frawd iddo ag a feddianna fy offeiriadaeth ei hun, a'i hiliogaeth a'i mwynhant ar ei ol ef hyd ddiwedd y byd."

Wedi cael, trwy'r weledigaeth, ei wneud yn hyspys o'r pethau hyn, Amram a ddihunodd, ac a'i hadroddodd i Jochebed ei wraig; ac yn awr eu dychryn a gynnyddodd, o herwydd y rhagfynegiad ym mreuddwyd Amram, canys yr oeddynt dan ofal, nid yn unig oblegid bywyd y plentyn, ond ar gyfrif y mawr dderchafiad ag oedd efe hefyd i ddyfod iddo. Pa fodd bynnag bu llafur ei fam yn gyfryw ag oedd yn arwyddo cadarnhad o'r hyn a ragfynegodd Duw; canys ni's gwybu y rhai a'i gwiliasai am dano, gan ei esmwythder, canys ni ddisgynnodd gwewyr yr esgoreddiad i raddau pell arni: ac yn awr hwy a feithrinasant y plentyn yn ddirgel gartref am dri mis. Eithr ar ol hynny, ac Amram yn ofni rhag ei ddatguddio, a syrthio o honynt dan anfoddlonrwydd y brenin, y byddai iddo ef a'i blentyn gael eu difetha, a thrwy hynny y gwnelid addewid Duw yn ddirym, efe a benderfynodd yn hytrach ymddiried gofal a diogelwch ei blentyn i Dduw, nag ymddiried i'w ddyfais ei hun yn ei guddio, yr hyn yr oedd yn edrych arno fel peth ansicr, ac wrth yr hyn y byddai 'r plentyn a fagid mor neillduol, ynghyd ag ef ei hun a'i deulu yn y perygl mwyaf: eithr efe a gredodd y

byddai i Dduw ryw sicrach ffordd ddiogelu y plentyn, i'r diben i sicrhau gwirionedd ei ragfynegiad ei hun. Wedi iddynt benderfynu fel hyn, gwnaethant arch o lafrwyn ar lun crŷd, yn ddigon o faintioli i osod maban ynddo, heb fod ychwaith yn rhy gyfyng. Yna hwy a'i dwbiasant drosodd â phridd-galch, fel yr attaliai y dwfr rhag rhedeg i mewn rhwng y llafrwyn, ac a ddodasant yr un bychan ynddo, a chan ei osod i nofio ar yr afon, hwy a'i gadawsant i ofal cadwriaeth Duw; felly yr afon a dderbyniodd y plentyn, gan ei ddwyn ar hyd-ddi; eithr Miriam, chwaer y plentyn, a gerddodd ym mlaen ar hyd ei glennydd gogyfer ag ef, megis y cyfarwyddasai ei mam hi, i weled pa le y dygid yr arch gan y dwfr: lle y dangosodd Duw nad oedd doethineb ddynol ond peth diddim, ond mai 'r bod Goruchaf sy 'n alluog i wneuthur pa beth bynnag a ewyllysio; bod y rhai ag sydd yn barnu eraill i ddistryw, ac yn arfer llawer o ymdrechiadau i hynny, i'r diben i ddiogelu eu hunain, yn methu yn eu hamcanion; a bod eraill, mewn modd tra rhyfedd, yn cael eu cadw, ac yn cyrhaeddyd i gyflwr dedwyddol, a hynny yn agos o ganol trallodion a chyfyngderau: y rhai hynny yr wyf yn ei feddwl ag y mae blinderau yn eu cyfarfod wrth ordinhad Duw; ac yn wir y fath ragluniaeth a ddefnyddiwyd yn amgylchiad y plentyn hwn, ac a eglur ddangosodd allu Duw yn ei gadwedigaeth.

Thermuthis, merch y brenin, ydoedd yn awr yn ymddifyrru ei hun ar hyd geulennydd yr afon, ac wrth ganfod cryd yn cael ei ddwyn gyd â'r ffrwd, hi anfonodd rai ag a fedrai nofio tu ag atto, gan orchymmyn ei ddwyn i'r lann atti hi. Wedi i'r sawl a ddanfonwyd ar y gennadwri hon ddychwelyd yn ol gyd â'r cryd, a gweled o honi y plentyn bychan ynddo, yr oedd ganddi serch mawr tu ag atto oblegid ei harddwch a'i faintioli, canys Duw a ofalodd yn ffurfiad Moses i osod y fath brydferthwch arno, ag y bernid ef yn addas i gael dygiad i fynu mewn dysg, ac arlwyo gogyfer ag ef, hyd yn oed gan y rhai a gymmerasent fwriadau angheuol ac echryslon, oblegid eu harswyd o'i enedigaeth ef, i ddinystrio y rhan arall o genedl yr Hebreaid. Thermuthis a barodd iddynt ddwyn gwraig atti ag a roddai sugn i'r plentyn, etto ni fynnai efe gymmeryd bron ganddi, ond a drodd ymaith oddiwrthi, ac a wnaeth y cyffelyb ag amryw wragedd eraill. Yn awr yr ydoedd Miriam ger llaw pan ddigwyddodd hyn; nid wedi dyfod yno yn bwrpasol, ond yn aros i edrych pa beth a ddeuai o'r plentyn; a hi a ddywedodd, "Ofer i ti, O frenhines, alw y gwragedd hyn i feithrin y plentyn, y rhai nid ydynt mewn un modd yn garennydd iddo; ond os gorchymmyni un o'r gwragedd Hebreaidd i ddyfod yma, ysgatfydd efe a gymmer y fron gan un o'i genedl ei hun." Yn awr, fel yr ymddangosodd hi i fod yn llefaru yn gall, Thermuthis a archodd iddi ddwyn y cyfryw un atti; felly yn ol rhoddi y fath awdurdod iddi, hi a ddaeth yn ol, ac a gyrchodd y fam, yr hon nid adwaenai neb yno; ac yn awr y plentyn a fu barod i gymmeryd sugn, ac oedd yn glynu wrth y fron yn awyddus: ac felly y bu ar ddymuniad y frenhines, i fagwraeth y plentyn gael ei ymddiried yn hollol i'w fam ei hun.

Ar hyn y bu ddarfod i Thermuthis osod yr enw hwn, sef Mo-uses arno ef, oddiwrth yr hyn a ddigwyddasai yn ganlynol i'w osodiad ar yr afon; canys yr Aiphtiaid a alwent ddwfr wrth yr enw Mo, a'r hyn a achubir o hono wrth yr enw Uses; felly trwy gyssylltu y ddeuair hyn ynghyd, hwy a osodasant yr enw yma arno ef; ac efe, yn ol addefiad pawb, yn gyttun a rhagfynegiad Duw, yn gystal o ran ëangder ei feddwl, a'i ddirmyg o bob anhawsderau, oedd y rhagoraf o'r holl Hebreaid. Abraham ydoedd ei hynafiad o'r seithfed genhedlaeth; canys Moses ydoedd fab Amram, yr hwn oedd fab Caath; tad pa un ydoedd Levi, fab Jacob, yr hwn oedd fab Isaac, yr hwn oedd fab Abraham. Yn awr fe ddaeth dealltwriaeth Moses i ragori llawer ar ei oedran; ac fel yr aeth ym mlaen mewn dysgeidiaeth, dangosodd ynddo gyflymdra mwy o amgyffrediadau nag oedd yn arferol mewn ieuengctyd, a'i weithrediadau y pryd hynny a addawodd bethau mwy pan ddeuai i oedran gwr. Duw a drefnodd y fath hir-dwf iddo, pan ydoedd yn dair mlwydd o oedran, ag ydoedd hynod; a phawb a'i gwelai

a ryfeddent yn fawr wrth ei harddwch, a thegwch ei wynebpryd ef. Iё, mynych y digwyddai, i'r rhai a gyfarfyddai ag ef, wrth rodio ar hyd y brif-ffordd, orfod troi yn ol ar yr olwg o'r plentyn; fel y gadawent yr hyn a fyddent yn ei gylch, ac y safent yn yr un-fan dros hir amser i edrych arno; canys prydferthwch y plentyn ydoedd mor hynodfawr, ar amryw gyfrifon, fel yr attaliai 'r edrychwyr, ac a barai eu harosiad ar eu negesau yn hwy wrth graffu arno ef.

Thermuthis, gan hynny, wrth ei ganfod yn blentyn mor hynod, a'i mabwysiadodd iddi ei hun yn fab, gan nad oedd etifedd ganddi ei hun; a phan ar yr un amser y dygodd Moses at ei thad, hi a'i dangosodd iddo gan ddywedyd, ei bod yn meddwl ei wneuthur yn llywodraethwr ar ei ol ef, os na welai Duw yn dda ganiattau iddi blant cyfreithlon ei hun; ac a ddywedodd wrtho, "Mi a ddygais blentyn i fynu ag sydd o ffurfiad dwyfol, ac o feddwl mawrfrydig; ac megis y derbyniais ef o roddiad yr afon, mewn dull tra hynod, mi dybiais yn gymmwys ei fabwysiadu i mi fy hun yn fab, ac i fod yn etifedd i'th deyrnas." Ac wedi iddi ddywedyd hyn, hi a roddes yr un bychan ym mreichiau ei thad, yntau a'i derbyniodd ac a'i gwasgodd yn ei fynwes, ac o barch i'w ferch, efe a osododd ei goron-bleth ar ei ben; ond Moses a'i tynnodd ymaith ac a'i bwriodd i'r llawr, ac mewn dull bachgennaidd a'i torchodd o amgylch, ac a'i sathrodd dan ei draed,—yr hyn oedd yn ymddangos fel yn darogan cwymp neu ddinystr ar yr Aipht. Ond pan welodd yr offeiriad cyssegredig hyn, (efe oedd yr un a ragddywedasai y byddai i'w enedigaeth ddwyn i lawr lywodraeth y wlad honno i radd isel,) efe a wnaeth ymegniad gorwyllt i'w ladd ef; a chan lefain allan â gwedd ddychrynllyd, efe a dywedodd, "Dyma, O frenin, dyma 'r plentyn yr hwn y rhagfynegodd Duw am dano, mai os lladdwn ef y byddwn yn ddiberygl: efe ei hun a ddug dystiolaeth i'r rhagfynegiad o'r cyfryw beth, trwy ddibrisio dy lywodraeth, a sathru dy goron dan ei draed. Cymmerwch ef, gan hynny, oddiar y ffordd, a gwaredwch yr Aiphtiaid oddiwrth eu hofn yn ei gylch ef, ac ymddifadwch yr Hebreaid o'r gobaith sydd ganddynt o gael gwaredigaeth drwyddo ef." Ond Thermuthis a'i hattaliodd ef, ac a gipiodd y plentyn ymaith; a'r brenin nid ydoedd mewn brŷs am ei ddifetha ef. Duw, ei hun, rhagluniaeth yr hwn oedd yn amddiffyn Moses, gan dueddu y brenin i'w arbed ef; dygwyd ef i fynu mewn dysg oblegid hyn gyd â gofal mawr; felly 'r oedd yr Hebreaid yn hyderu arno, ac o obaith da, y byddai i bethau mawr gael eu gwneuthur drwyddo ef. Yr Aiphtiaid yn wir oeddynt yn petruso wrth ystyried y canlyniad a allai ddigwydd oblegid ei ddygiad i fynu mewn dysgeidiaeth; etto pe lladdasid Moses, nid oedd un, o garennydd neu fabwysiad, ac oracl o'i blaid, a allai honni ei hawl i goron yr Aipht, ac yn debyccach i fod o ddefnydd iddynt; oblegid pa ham hwy a ymgadwasant rhag ei ddifetha ef.

## PENNOD X.

*Am y Rhyfel a wnaeth Moses â'r Ethiopiaid.*

MOSES, gan hynny, wedi ei eni a'i ddwyn i fynu yn y drefn ragddywededig, a dyfod i gyflawnder oedran, a amlygodd ei rinweddau i'r Aiphtiaid, ac a ddangosodd ei eni ef i'w darostwng hwynt, ac i ddyrchafu 'r Israeliaid; a'r achlysur a gymmerodd efe afael arno i'r diben hynny ydoedd hwn: yr Ethiopiaid, y rhai ydynt gymmydogion nesaf i'r Aiphtiaid, a ruthrasant i mewn i'w gwlad hwynt, yr hon a oresgynnasant, gan gymmeryd ymaith eiddo 'r Aiphtiaid, y rhai yn eu cynddaredd a ymladdasant i'w herbyn, gan ddial am y sarhâd a dderbyniasent; ond trwy eu gorchfygu mewn brwydr, rhai o honynt a laddwyd, ac eraill a ffoisant ymaith mewn modd cywilyddus, ac wrth hynny a achubasant eu hunain. Ar hyn yr Ethiopiaid a erlidiasant ar eu hol hwynt, a chan ei dybied yn nod o ddigalondid os na ymroddent i ddarostwng yr Aipht yngwbl, hwy aethant ymlaen i hynny gyd â'r awyddfryd mwyaf; a phan brofasant o ffrwythau'r wlad, ni roddasant heibio fyned â'r rhyfel ymlaen; ac megis nad oedd cefnogrwydd digonol yn nhrigolion y lleoedd nesaf attynt i ymladd â hwynt, hwy aethant ymlaen

mor bell a Memphis, a'r mor ei hun, pan nad oedd un o'r dinasoedd yn abl i'w gwrthsefyll hwynt. Yr Aiphtiaid dan eu gorthrymder mawr hwn a ffoisant at eu horaclau a'u prophwydoliaethau; a phan roddes Duw y cyngor hwn iddynt, i wneuthur defnydd o Moses yr Hebread, a chymmeryd attynt ei gynnorthwy ef, y brenin a orchymmynodd i'w ferch ei ddwyn ef ger bron, fel y byddai efe yn flaenor ar ei fyddin;* ar hyn, wedi iddi wneuthur i'r brenin fyned i'w lw na wnai ddim niweid iddo, rhoddodd ef i fynu i'r brenin; gan feddwl y byddai ei gymmorth ef o ddefnydd mawr iddynt. Y bendefiges hefyd a waradwyddodd yr offeiriad, yr hwn er darfod iddo o'r blaen annog yr Aiphtiaid i'w ladd ef, nid oedd gywilydd arno yn awr i addef eu diffyg o'i gynnorthwy.

Moses trwy annogaeth Thermuthis a'r brenin ei hun, a gymmerodd y gorchwyl hwn yn hyderus arno; a'r 'sgrifenyddion cyssegredig o'r naill genedl a'r llall ydoedd foddlon iddo: yr Aiphtiaid a hyderodd y byddai iddynt ar unwaith ddadymchwelyd eu gelynion trwy ei wroldeb ef; ac mai trwy 'r un ymdrech y lleddid Moses ei hun yn y frwydr. Ond yr Hebreaid a obeithiasant y caent hwy ddiangfa oddiwrth yr Aiphtiaid, o herwydd gosod Moses yn flaenor ar eu byddinoedd.

Moses a gymmerodd ac a arweiniodd ei fyddin ym mlaen, cyn i'w gelynion ddeall eu bod yn dyfod ar eu gwarthaf; canys ni chanlynasant gyd â'r afon, ond a aethant ar hyd y tir, yn yr hyn y dangosodd ei gallineb a'i gyfrwysdra: canys fel yr oedd y tir yn anhawdd ei deithio, o herwydd amldra y seirph y mae yn ei gynnwys, ac sydd dra hynod yn wir o herwydd rhai creaduriaid na fagir yn un wlad arall, etto y cyfryw ag sydd waeth nag eraill mewn creulondeb a ffyrnigrwydd, a'u golwg yn anarferol o lym, rhai o honynt a ddyrchafant mewn modd anweledig, o'r ddaear, ac a ehedant yn yr awyr, ac felly a ddisgynnant ar ddynion yn ddiarwybod iddynt i'w niweidio. Moses a ddyfeisiodd ffordd dra neillduol i gadw ei wŷr rhagddynt: gwnaethant fasgedau neu gawellau o hesg, ac a'u llanwasant o ibes,† math o adar, gan eu dwyn gyd â hwynt, pa ryw greaduriaid ydynt bennaf gelynion i seirph a'r a ellir ei ddychymmygu; canys y seirph a ehedant ymaith ar eu hagosâd attynt; ac wrth ehedeg hwy a ddelir ac a ddifethir gan yr adar, ond yr ibes ydynt greaduriaid dofion, ac yn elynion yn unig i'r rhywogaeth sarphaidd. Am yr ibes hyn, pa fodd bynnag, ni ddywedaf yn rhagor yn bresennol; gan nad yw'r Groegiaid yn anadnabyddus â'r aderyn hwn. Gan hynny, mor fuan ag y daeth Moses i mewn i'r tir oedd yn magu y seirph hyn, efe a ollyngodd yn rhydd yr ibes, a thrwy 'r moddion hynny fe ymlidiwyd y rhywogaeth Sarphaidd ymaith, cyn i'r fyddin ddyfod i mewn i'r tir hwnnw. Gan hynny, pan aeth efe ym mlaen gyd â'i wŷr yn y daith hon, efe a ddaeth ar warthaf yr Ethiopiaid cyn eu bod hwy yn ei ddisgwyl; ac wedi myned o'r byddinoedd ynghyd, efe a darawodd yr Ethiopiaid, ac a'u hymddifadodd o'r gobaith oedd ganddynt o lwyddo yn erbyn yr Aiphtiaid; ac efe a aeth ym mlaen i ddadymchwelyd eu dinasoedd, ac yn wir a wnaeth laddfa fawr yn eu plith. Yn awr wedi i fyddin yr Aiphtiaid unwaith brofi o lwyddiant trwy drefniadau Moses, ni attaliasant eu diwydrwydd, yn gymmaint ag y bu 'r Ethiopiaid mewn perygl o'u darostwng yn gaeth-weision, a chael eu hollol ddistrywio; ac o'r diwedd hwy a ffoisant i Saba, dinas frenhinol yn Ethiopia; pa un yn ol hynny a alwodd Cambyses, Meroe,‡ yn ol enw ei chwaer ei hun. Y lle hwn ydoedd i warchae arno gyd ag anhawsdra mawr iawn, o

* Yr hanes yma am Moses megis blaenor ar fyddin yr Aiphtiaid yn erbyn yr Ethiopiaid, a hollol esgeulusir yn ein Biblau ni; ond a adroddir y modd hwn am dano gan Irenius, allan o Josephus, a hynny yn fuan ar ol ei oes ei hun: "Josephus a ddywed, mai pan ddygwyd Moses i fynu yn llys y brenin, ei ordeinio ef yn flaenor ei lu yn erbyn yr Ethiopiaid, ac iddo eu gorchfygu hwynt; yn ol yr hyn y priododd ferch y brenin hwnnw, oblegid ei serchowgrwydd hi tu ag atto ef, rhoddasant y ddinas i fynu iddo." Ac ysgatfydd nad oedd St. Stephen yn golygu un peth arall, pan ddywedodd am Moses, cyn ei anfon gan Dduw at yr Hebreaid; ei fod ef nid yn unig yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aiphtiaid, ond ydoedd alluog hefyd mewn gair a gweithred, Act. vii. 22.

† Y mae Pliny yn crybwyll am yr adar hyn a elwid ibes, ac yn dywedyd i'r Aiphtiaid alw am borth neu amddiffyniad ganddynt rhag y seirph. Hanes Naturiaethau, ll. X. tu dal. 28.

‡ Y mae Strabo yn crybwyll am yr ynys hon Meroe, a'r afonydd hyn Astapus ac Astaboras, XVI. t. d. 771, 786. XVII. t. d. 831.

herwydd ei fod wedi ei amgylchynu gan afon Nilus, a'r afonydd eraill, Astapus ac Astaboras, yr hyn a'i gwnai yn dra anhawdd i'r rhai a gynnygiai fyned drostynt, canys y ddinas oedd a'i sefyllfa mewn lle unigol, ac a breswylid ynddi fel math o ynys, wedi ei hamgylchu â mur cadarn, a'r afonydd yn amddiffynfeydd rhag eu gelynion, a chanddynt wrth-gloddiau mawrion rhwng y mur a'r afonydd, fel pan ddel y dyfroedd i lifeirio gyd â'r grym mwyaf, ni all dorri i mewn i'r ddinas; pa ryw wrth-gloddiau hefyd sydd yn ei wneud yn nesaf i amhosiblrwydd i elynion a fyddant wedi croesi 'r afonydd i gymmeryd y ddinas uchod. Pa fodd bynnag tra 'r oedd Moses yn anesmwyth oblegid fod y fyddin yn aros yn segur, (canys ni anturiai y gelynion ddyfod i ymladdfa,) y ddamwain hon a ddigwyddodd: Tharbis, merch brenin yr Ethiopiaid, a ddigwyddodd iddi gael llawn olwg ar Moses, fel yr oedd yn arwain y fyddin yn agos i'r muriau, ac yn ymladd gyd â gwroldeb mawr; a chan ryfeddu wrth ei ddeheudra a'i gyfrwysedd, fel achos o lwyddiant yr Aiphtiaid, pan o'r blaen yr oeddynt yn anobeithio am adferiad eu rhyddid, ac mai efe oedd yr achos o'r mawr berygl yr oedd yr Ethiopiaid ynddo, y rhai o'r blaen a ymffrostiasant yn eu gorchestion, hi a ddwfn syrthiodd mewn cariad ag ef, ac ar gymmelliad y dymmer honno, a anfonodd y ffyddlonaf o'i holl weision i ymddiddan ag ef ynghylch ei briodas â hi. Ar hyn efe a wnaeth dderbyniad o'r cynnygiad, ar yr ammod o fod iddi feddiannu 'r awdurdod o roddi 'r ddinas i fynu, ac fe roddodd sicrwydd iddi trwy lw o'i chymmeryd yn wraig iddo; a phan unwaith y cymmerai feddiant o'r ddinas, na thorrai ei lw â hi. Nid cynt y gwnaethpwyd y cyttundeb nag y cymmerodd le yn ddioed: ac wedi i Moses orchfygu 'r Ethiopiaid, efe a ddychwelodd ddiolchgarwch i Dduw; ac wedi cwblhau ei briodas, efe a arweiniodd fyddin yr Aiphtiaid yn ol i'w gwlad ei hun.

## PENNOD XI.

*Am ffoedigaeth Moses o'r Aipht i dir Midian.*

YN awr yr Aiphtiaid, wedi eu hamddiffyn gan Moses, a ddechreuasant eiddigeddu tu ag atto, a bod yn awyddus i effeithio eu hamcanion yn ei erbyn, megis yn dychymmygu y cymmerai achlysur oddiwrth ei ddiweddar lwyddiant i gyfodi gwrthryfel, a dwyn cyfnewidiad ar ddefodau yr Aipht gan ddywedyd wrth y brenin; y dylid ei ddifetha ef. Yr oedd rhai bwriadau gan y brenin i'r dibenion hynny, yn gystal oblegid ei genfigen wrth ei ddiweddar lwyddiant yn y rhyfel, a'i arswyd rhag ei ddarostwng ei hun ganddo ef: ac wedi ei annog gan ei offeiriaid cyssegredig, yr oedd efe yn barod i gymmeryd arno ladd Moses, Ond wrth iddo ef ddirnad ym mlaen llaw am y bradwriaethau oedd yn ei erbyn, efe a ymadawodd yn ddirgel; ac o herwydd fod y prif-ffyrdd yn cael eu gwilied, efe a gymmerodd ei ffoedigaeth trwy 'r diffeithwch, lle ni ddychymmygodd ei elynion y gallai drafaelio; ac er heb ymborth ganddo efe a aeth ym mlaen, ac a ddibrisiodd yr anhawsdra hwnnw yn dra chefnog; ac wedi ei ddyfod i ddinas Midian, yr hon oedd yn gorwedd wrth y Mor Coch, ac a enwid felly oddi wrth un o feibion Abraham o Cetura, efe a eisteddodd ger llaw ffynnon, ac a orphwysodd ei hun yno wedi ei daith luddedig, a'r trallod a fuasai ynddo: ac nid oedd neppell oddiwrth y ddinas, a'r amser o'r diwrnod ydoedd canol dydd, lle 'r ymgynnygiodd achlysur iddo, trwy arferiad y wlad, o wneud yr hyn ag oedd ei rinwedd yn ei gymmeradwyo, ac yn caniattâu cyfleusdra iddo i wella ei amgylchiadau.

Canys fel yr oedd y wlad honno ag ond ychydig ddwfr ynddi, y bugeiliaid a arferent gymmeryd meddiant o'r ffynhonnau cyn dyfod eraill ym mlaen, rhag bod ar eu diadellau ddiffyg dwfr, a'i dreulio gan eraill cyn eu dyfodiad hwy. Yr oedd gan hynny wedi dyfod at y pydew neu 'r ffynnon honno saith morwyn ieuangc o chwiorydd, merched i Raguel, offeiriad, gwr cyfrifol gan drigolion y wlad honno, a theilwng o anrhydedd: y morwynion neu 'r llangcesau hyn, ag oedd yn gofalu am braidd eu tad, yr hwn waith oedd arferol a thra adnabyddus i ferched gwlad Troglodytes, a ddaethant yn gyntaf at y ffynnon, gan dynnu yn helaeth i'w praidd yn y

cafnau, y rhai a wnaethid i dderbyn y dwfr; ond y bugeiliaid a ddaeth ar warthaf y llangcesau, gan eu gyrru ymaith, fel y caent feddiannu y dwfr eu hunain. Moses a feddyliodd y byddai 'n waradwyd iddo os edrychai heibio i'r gorthrymder hwn yn ddi-sulw, a goddef i'r dynion hyn orthrechu y morwynion, a'u hyspeilio o'r hyn oedd gyfiawn iddynt; efe gan hynny a yrrodd y dynion ymaith, y rhai oedd chwannog i fwy na 'u cyfran; ac a gynnorthwyodd y llangcesau i'w gwrthsefyll hwynt; y rhai wedi derbyn y fath gymmorth ganddo a ddaethant at eu tad, gan adrodd y fath driniaeth a gawsant gan y bugeiliaid, a'r amddiffyniad a roddodd y dieithr-ddyn iddynt; ac attolygu na adawai i'r weithred hon fyned heibio heb ei gobrwyo. Yn awr eu tad a gymmerodd yn garedig gan ei ferched, eu bod mor fawr eu hewyllys i wobrwyo eu cynnorthwywr, ac a orchymmynodd iddynt ddwyn Moses ger ei fron ef, fel y gwobrwyid ef yn ol ei haeddiant. A phan ddaeth Moses ym mlaen, efe a ddywedodd wrtho y fath dystiolaeth a roddasai ei ferched am dano ef, a darfod iddo eu cynnorthwyo hwynt; a chan ei fod ef yn ei barchu o blegid ei rinwedd, dywedodd fod Moses wedi estyn y fath gynnorthwy i bersonau a'r nad oedd anystyriol o gymmwynas, ond lle yr oeddynt yn alluog eu bod yn ewyllysgar i'w thalu yn ol, a rhagori ar fesur ei garedigrwydd ef: felly efe a'i mabwysiadodd i'w deulu, ac a roddes un o'i ferched yn wraig iddo; ac a'i appwyntiodd i fod yn olygwr ac yn llywodraethwr ar ei braidd; canys yn yr hen amseroedd, holl gyfoeth amrywiol genhedlaethau ydoedd gynnwysedig yn lliosogrwydd eu hanifeiliaid.

## PENNOD XII.

*Am y Berth yn llosgi, ac am Wialen Moses.*

WEDI i Moses gael mwynhau y ffafr yma gan Jethro,* (canys dyna oedd un o enwau Raguel,) efe arosodd yno, ac a borthodd ei braidd ef;† ond ym mhen amser ar ol hyn, wedi dyfod a sefydlu ar fynydd a elwid Sinai, efe a yrrodd ei braidd yno i'w porthi hwynt. Hwn ydyw yr uchaf o'r holl fynyddoedd yn y parthau hynny, a'r goreu am borfeydd, a'r glaswellt yn iachus; ac ni fuasai diadellau yn pori o'r blaen arno, o herwydd y tŷb oedd gan ddynion fod Duw yn preswylio yno, a'r bugeiliaid heb anturio esgyn i fynu iddo. Ac yma y bu ddarfod i aruthr ryfeddod ymddangos i Moses, canys tân‡ a ennynodd mewn perth o ddrain, etto ei ddail gwyrddion a'i flodau oedd yn aros, heb eu cyffwrdd, ac ni ysodd y canghennau, er bod y fflam yn danbaid ac yn nerthol. Moses a ddychrynodd ar yr olwg ddieithr yma; ond fe synnodd yn fwy pan ddaeth llais allan o'r tân, yn galw arno wrth ei enw, ac yn llefaru geiriau wrtho; trwy 'r hyn y dangoswyd iddo mor hŷ y buasai efe, yn anturio dyfod i le na ddaethai neb dynion iddo o'r blaen, o herwydd ei fod yn dir sanctaidd; a chan ei annog i gilio i ryw bellder oddiwrth y tân, ac i foddloni ar yr hyn a welsai; canys er ei fod yn ddyn da ei hun, ac yn tarddu o dylwyth anrhydeddus, ni ddylai graffu ymhellach; ac efe a ragfynegodd iddo y byddai iddo glod ac anrhydedd ym mysg dynion, trwy fendith Duw arno ef. Efe hefyd a orchymmynodd iddo fyned yn hyderus i'r Aipht, mewn trefn o fod yn llywydd i gorph yr Hebreaid, ac i waredu ei bobl ei hun oddiwrth y cam a'r cyfyngder yr oeddynt yn ei oddef yno. "Canys," eb Duw, "hwy gant etifeddu y tir dedwyddol hwn, ag a etifeddodd eich cyn-dad Abraham, a chwi gewch fwynhau pob math o ddaioni; a thydi trwy dy synwyroldeb a'u harweini i feddiant o'r pethau daionus hyn." Ond etto efe a orchymmynodd iddo, pan ddygai yr Hebreaid allan o dir yr Aipht, i ddyfod i'r lle hwnnw ac offrymmu aberthau o ddiolchgarwch ynddo. Y cyfryw ydoedd y dwyfol areithiad a draddodwyd allan o'r berth losgadwy.

Moses ydoedd yn rhyfeddu wrth yr hyn a welsai, a mwy o lawer am y peth a glywodd; ac efe a ddywedodd, "Yr wyf yn ei farnu yn siampl o wallgofrwydd mawr, O Arglwydd, i un ag sydd ganddo 'r fath barch i ti, fel y mae gennyf fi, i anhyderu yn dy allu, tra 'r ydwyf fy hun yn ei fawrygu, ac yn gwybod ddarfod ei

* Jetheglaeus, yng ngwaith Groeg Josephus. † Exod. iii. 1.

‡ Bl. 1532.

amlygu i'm hynafiaid; ond yr wyf etto yn ammau pa fodd y bydd i mi, ddyn unigol a diddoniau, i allu perswadio fy nghyd-genedl, i adael y wlad lle y maent yn preswylio, a'm dilyn i dir yr arweiniwyf hwynt iddo; neu, os perswadir hwynt, pa fodd y gallaf wneud i Pharaoh eu gollwng hwynt ymaith, gan ei fod yn chwanegu ei gyfoeth a'i lwyddiant oddiwrth y llafur a'r gwaith y mae efe yn ei osod iddynt?"

Eithr Duw a'i perswadiodd i ymwroli ar bob achosion, gan addaw bod gyd ag ef i'w gynnorthwyo yn ei ymadrodd wrth berswadio dynion, ac yn ei weithredoedd pan fyddai iddo ddangos rhyfeddodau trwy hynny. Efe a barodd iddo hefyd gymmeryd arwydd o wirionedd y peth a draethai, trwy fwrw ei wialen ar y ddaear; yr hyn pan wnaeth, hi a ymlusgodd ym mlaen, ac a aeth yn sarph,* a threiglodd a phlygodd ei hun o amgylch gan ymsythu ei phen, megis yn barod i ymddial ar y sawl a ymosodai arni; ac yn ol hynny hi a ddaeth yn wialen drachefn megis ag yr oedd o'r blaen. Ar ol hyn, Duw a baroddi Moses ddodi ei ddeheulaw yn ei fynwes, yr hyn a wnaeth efe, a phan dynnodd hi allan yr ydoedd yn wynn megis pridd-galch, ond ar ol hynny hi ddychwelodd i'w lliw arferol drachefn. Efe hefyd, wrth orchymmyn Duw, a gymmerodd ddwfr ag oedd yn agos atto ac a'i tywalltodd ar y ddaear, ac aeth yn ei liw yn debyg i waed. Ar y syndod a ddangosodd Moses wrth yr arwyddion hyn, Duw a'i cynghorodd ef i ymgryfhau, ac i sicrhau iddo ei hun y byddai efe o gymmorth mwyaf iddo; ac a orchymmynodd iddo wneuthur defnydd o'r arwyddion hyn, mewn trefn i ynnill crediniaeth pob rhyw ddynion, ac i egluro ei fod ef yn gwneuthur pob peth wrth ddwyfol orchymmyn. Yn ganlynol rhybuddiodd ef nad oedai yn hwy, ond prysuro o hono i'r Aipht, gan deithio ddydd a nos, heb estyn yr amser, na gadael caethiwed yr Hebreaid, na'u dioddefiadau i barhau yn hwy.

Moses wedi gweled a chlywed y pethau rhyfedd hyn, ag oedd yn sicrhau iddo wirionedd addewidion Duw, nid oedd le ganddo i'w hanghredu hwynt; felly fe a erfyniodd arno ganiattau yr awdurdod hynny iddo pan ddeuai i'r Aipht; ac a ddeisyfodd, wedi iddo ei glywed a'i weled ef, ar fynegi o hono iddo ei enw, fel pan offrymmai aberth y byddai iddo alw arno yn ol yr enw hwnnw yn ei addoliad. Ar hynny Duw a hyspysodd iddo yr enw na ddatguddiwyd i ddynion o'r blaen, ymherthynas i ba un nid yw gyfreithlon† i mi lafaru yn rhagor. Yn awr yr arwyddion hyn a ddilynasant Moses, nid yr amser hwnnw yn unig, ond yn wastadol pan weddiai am danynt; pa ryw arwyddion a gyfrifai, gyd â'r cyd-syniadau cadarnaf, i'r tân yn y berth fel achos o honynt: a chan gredu y byddai Duw yn gynhaliwr graslawn iddo, efe a obeithiodd y galluogid ef i waredu ei genedl, ac i ddwyn cystuddiau ar yr Aiphtiaid.

## PENNOD XIII.

*Am Ddychweliad Moses ac Aaron i'r Aipht at Pharaoh.*

MOSES wedi deall fod Pharaoh, dan deyrnasiad pa un y ffoisai ymaith, yn awr wedi marw, a ofynnodd gennad Raguel i fyned i'r Aipht, er gwasanaeth i'w bobl ei hun; a chymmerodd gyd ag ef Zippora, merch Raguel, yr hon a briodasai, a'r plant a anesid iddo o honi, Gersom ac Eleazer, ac a frysiodd i fyned i'r Aipht. Yn awr y cyntaf o'r enwau hyn, Gersom, yn yr Hebraeg, sydd yn arwyddo ei fod mewn tir dieithr: ac Eleazer, mai trwy gymmorth Duw ei dadau y diangasai rhag yr Aiphtiaid.

Pan oeddynt ar gyffiniau'r Aipht, Aaron ei frawd, wrth orchymmyn Duw, a gyfarfu ag ef; i'r hwn yr amlygodd y weledigaeth a gafodd efe ar y mynydd, a'r gorchymmynion a roddasai Duw iddo ef: ond fel yr oeddynt yn myned ym mlaen, y gwŷr pennaf ym mhlith yr Hebreaid

* Exod. iv. 3.

† Yr ofn coel-grefyddol yma o ddatguddio r enw a'r pedair llythyren, pa un a arferwyd yn ddiweddar yn anghywir Jehofa, ond a ymddengys ei fod gynt yn cael ei ddarllen Jahoh, neu Jao, ni sonir, yr wyf yn tybied, yn un man am dano, hyd y lle hwn o waith Josephus; a'r dull ofer-goelus o beidio galw yr enw hwnnw, a barheir ym mysg yr Iuddewon Rabinaidd hyd y dydd hwn; er, pa un a ddarfu i'r Samariaid a'r Caraaid sylwi arno mor foreuol, nid ymddengys yn eglur. Nid yw Josephus hefyd yn anturio gosod i lawr eiriau y deg gorchymmyn, megis y gwelir yn ol hyn. III. 5. yr hwn ddistawrwydd ofergoelus, yr wyf yn meddwl, ni pharheir yn awr gan y Rabiniaid. Pob un o'r dirgel ocheliadau hyn a ddysgwyd ysgatfydd i Josephus gan y Phariseaid, corph o ddynion ag oedd ar unwaith yn dra drygionus a choelgrefyddol.

wedi deall am eu dyfodiad, a gyfarfuant â hwy, i'r rhai yr hyspysodd Moses yr arwyddion a welsai, a phan na allent eu credu, efe a wnaeth iddynt eu gweled hwynt; felly hwy a ymgefnogasant ar yr olwg o'r rhyfeddodau hynny, ac a gawsant obaith o'u llwyr waredigaeth o'r Aipht, gan gredu yn awr fod Duw am eu hamddiffyn hwynt.

Gan hynny wedi i Moses wybod yr ufuddhai yr Hebreaid i ba beth bynnag a archai efe iddynt megis yr addawsant, a'u bod hwy yn caru rhyddid; efe a ddaeth at y brenin, yr hwn yn wir nid ydoedd ond yn ddiweddar wedi etifeddu 'r llywodraeth,* ac a adroddodd iddo gymmaint o wasanaeth a wnaethai i'r Aiphtiaid, pan ddirmygid hwy gan yr Ethiopiaid, a'u gwlad wedi ei gwneuthur yn anghyfannedd drwyddynt; y modd y buasai yn flaenor ar eu byddinoedd, y llafuriodd drostynt, megis pe buasent ei bobl ei hun; ac efe a hyspysodd iddo pa beryglon a aethai drwyddynt yn y daith filwraidd honno, heb ddim gwobrwyad am hynny fel yr oedd yn ddyledus iddo. Efe hefyd a adroddodd yn amlwg yr hyn a ddigwyddasai iddo ar fynydd Sinai, y peth a lefarodd Duw wrtho, a'r arwyddion a wnaethai Duw mewn trefn i'w sicrhau ef o awdurdod y gorchymmynion a roddasai iddo ef: efe hefyd a'i cynghorodd i beidio anghredu yr hyn a lefarodd wrtho, nac i wrthwynebu ewyllys Duw.

Ond wedi i'r brenin ei wawdio, Moses a ddangosodd iddo yr arwyddion a wnaethid ar fynydd Sinai; er hynny yr oedd y brenin yn dra digllon, ac a'i galwodd yn ddyn drygionus, yr hwn a ddiangasai gynt o'i gaeth-wasanaeth yn yr Aipht, ac yn awr a ddychwelasai ag ystrangciau twyllodrus, rhyfeddodau, a chelfydd hudoliaeth i'w fradychu ef. Ac wedi dywedyd hyn efe a orchymmynodd i'w offeiriaid adael iddo weled yr un rhyfeddol arwyddion; gan wybod fod yr Aiphtiaid yn dra chelfyddus yn y fath hyn o ddysgeidiaeth, ac nad efe yn unig oedd y person a'u hadwaenai, ac a'u cyfrifai yn ddwyfol: dywedodd hefyd wrtho, mai yn ol dwyn o hono y fath ryfeddodau o'i flaen, na chai ei gredu ond yn unig gan yr annysgedig. Yn awr wedi i'r offeiriaid fwrw eu gwialennau i lawr, hwy a aethant yn seirph; ond ni chythruddwyd Moses o'u herwydd, eithr a ddywedodd, "O frenin, nid wyf o'm rhan fy hun yn dirmygu doethineb yr Aiphtiaid, ond dywedyd yr wyf, fod yr hyn ag ydwyf fi yn ei wneuthur yn rhagori gymmaint ar y peth y mae y rhai hyn yn ei wneuthur trwy ddewiniaeth a chyfrwysdra, ag y mae gallu dwyfol yn rhagori ar alluoedd dynol; ond mi a eglur ddangosaf nad yw yr hyn ag wyf fi yn ei wneuthur o hudoliaeth, neu â lliw yn unig o'r hyn sydd wirioneddol, ond eu bod yn cael eu hamlygu drwy ragluniaeth a gallu Duw." Wedi iddo ddywedyd hyn, efe a fwriodd ei wialen i lawr ar y ddaear, gan orchymmyn iddi droi ei hun yn sarph. Hi a ufuddhaodd iddo, ac a ymlusgodd oll o amgylch, ac a lyngcodd i fynu wialenau yr Aiphtiaid,† y rhai a ymddangosasant fel dreigiau, nes iddi eu difetha oll. Yna hi ddychwelodd i'w dull neu ei hagwedd ei hun; a Moses a'i cymmerodd yn ei law drachefn.

Pa fodd bynnag ni chyffrowyd y brenin wedi gwneuthur hyn yn fwy nag o'r blaen; ond ag efe yn dra digllon a ddywedodd, na ynnillai Moses ddim trwy ei gyfrwysedd a'i ddichellion yn erbyn yr Aiphtiaid; ar yr un pryd efe orchymmynodd i'r prif feistraid gwaith ar yr Hebreaid i beidio lleihau ar eu llafur hwynt, ond eu cymmell i ymostwng i fwy gorthrymder nag o'r blaen; ac er caniattau o hono beiswyn neu wellt iddynt cyn hyn i wneuthur eu pridd-feini, ni roddai hynny yn hwy iddynt, ond a wnaeth iddynt weithio yn galed y dydd yng ngwneuthuriad pridd-feini, a chasglu sofl y nos. Yn awr wedi dyblu eu llafur y modd yma, gosodasant y bai ar Moses, o herwydd i'w llafur a'u blinderau gael eu trymhau o'i blegid ef. Ond ni adawodd Moses i'w feddwl suddo trwy fygwthiadau y brenin, ac ni leihaodd ei sel ar gyfrif achwynion yr Hebreaid, ond efe a ymgryfhaodd ac a ymnerthodd yn ei enaid yn erbyn pob

*Y mae Josephus yn ymddangos mewn camsyniad yma ymherthynas i amseryddiaeth yr Aipht, pan ddywed na ddaethai y Pharaoh ag oedd y pryd hwnnw yn frenin, ond yn ddiweddar i deyrnasu; ac nid yw hyn ryfedd, gan ddarfod im' sylwi o'r blaen, mor bell yr oedd yn camsyniad yn y cwbl o amseryddiaeth yr Aiphtiaid, ac felly am frenin yr Aipht, yr hwn a fu i Moses a wnelai ag ef.

† Exod. vii. 21.

un, gan arferyd ei holl ddiwydrwydd i feddiannu rhyddid i'w gydwladwyr: felly fe aeth at y brenin i'w berswadio i adael i'r Hebreaid fyned ymaith i fynydd Sinai i aberthu i Dduw, o herwydd gorchymmyn o hono ef iddynt wneuthur felly. Efe a'i hannogodd hefyd i ochelyd gwrthwynebu amcanion Duw, ond i barchu ei ddeddfau ef uwchlaw pob peth, a chaniattau iddynt hwy ymadael, rhag gosod o hono rwystr yn ffordd Dwyfol annogaethau, ac felly rhoddi achos iddo ddioddef y fath gospedigaethau, fel ag ysgatfydd y byddai i bob un a wrthsafai y Dwyfol orchymmyn fyned danynt, gan fod y cystuddiau llymmaf yn cyfodi i bob gwrthddrych a gynnyrfo y Dwyfol lidiowgrwydd i'w herbyn; canys ni fydd gan y cyfryw rai na 'r ddaear na 'r awyr yn gyfeillion iddynt; ac ni fydd ffrwyth y bru yn ol naturiaeth, ond pob peth a fydd yn angharedig ac yn wrthwynebol iddynt. Dywedodd ymhellach, y byddai i'r Aiphtiaid wybod hyn drwy brawf galarus, ac yr ymadawai y bobl Hebreaidd o'u gwlad hwynt heb ganiattâd.

## PENNOD XIV.

*Am y Pläau, pa rai a ddaeth ar yr Aiphtiaid.*

WEDI i'r brenin watwor ymadroddion Moses, ac heb ddim parch ganddo iddynt, goddiweddwyd yr Aiphtiaid â phläau dinystriol, y rhai a fydd i mi bob yn un eu desgrifio, oblegid na ddigwyddodd y fath bläau i un genedl arall ag a deimlodd yr Aiphtiaid y pryd hyn; ac o herwydd y dymunwn ddangos na fethodd Moses mewn un peth ag a ragddywedodd am dano; ac oblegid ei fod er lles i ddynolryw, fel y dysgont gymmeryd y gocheliad hwn, sef, peidio gwneuthur un peth a fyddo yn anfoddloni Duw, rhag ei gynnyrfu i ddigofaint, a dial eu hanwireddau arnynt hwy.

Afon yr Aipht a redodd yn ffrwd lifeiriol o waed,* wrth orchymmyn Duw, yn gymmaint nas gellid yfed o honi; ac nid oedd ffrydiau eraill o ddwfr yn y wlad. Y dwfr ydoedd nid yn unig o liw 'r gwaed, ond a ddygai ar y rhai a anturient ei yfed boenau ac arteithiau dirfawr. Y fath hyn ydoedd yr afon i'r Aiphtiaid; ond yr oedd ei dwfr yn felus ac yn gymmwys i'w yfed i'r Hebreaid, ac heb fod mewn un modd yn wahanol i'r hyn ydoedd o naturiaeth. Fel nas gwyddai y brenin gan hynny pa beth i'w wneud yn yr amgylchiad rhyfedd yma, pryd yr ydoedd mewn ofn am yr Aiphtiaid, efe a roes gennad i'r Hebreaid fyned ymaith. Ond pan beidiodd y pla, efe a newidiodd ei feddwl, ac ni oddefai iddynt ymadael.

Ond pan welodd Duw ei fod ef yn anniolchgar, ac ar symmudiad y barnedigaethau na thyfai yn ddim doethach, efe a anfonodd bla arall ar yr Aiphtiaid: aneirif liaws o lyffaint † a ddifethasant ffrwyth y ddaear. Yr afon hefyd ydoedd yn llawn o honynt, yn gymmaint a niweidio y dwfr a dynnodd rhai o honi, gan waed y creaduriaid hyn, gan iddynt feirw ynddi, a'u difetha gan y dyfroedd; ac yr oedd y wlad yn llawn o lysnafedd drewllyd, lle yr oeddynt yn magu ac yn meirw drachefn; yr oeddynt hefyd yn niweidio y llestri yn eu tai pa rai a ddefnyddient; a hwy a gaid ym mysg yr hyn a fwyttaent ac a yfent, ac a ddringent mewn nifer mawr i'w gwelŷau. Yr ydoedd hefyd sawr ffiaidd yn cyfodi oddiwrthynt fel yr oeddynt yn magu, ac fel y byddent meirw ynddo. Yn awr pan oedd yr Aiphtiaid dan orthrymder y trueni hwn, y brenin a orchymmynodd i Moses gymmeryd yr Hebreaid gyd ag ef, a myned ymaith: ar hynny yr holl liaws o lyffaint a ddiflanasant o'r tir; yr hwn ynghyd â'r afon hefyd a ddychwelasant i'w naturiaeth arferol. Ond cyn gynted ag y gwelodd Pharaoh y wlad wedi ei rhyddhau o'r farn hon, efe a anghofiodd yr achos o honi, ac a gadwodd yr Hebreaid yn ei feddiant; ac, megis pe buasai am gael prawf o natur un farn arall, ni oddefai i Moses a'i bobl fyned ymaith; wedi unwaith gyd-synio i hynny, yn hytrach o ran ofn nag o deimladol ystyriaeth.

Yn ganlynol fe gospodd Duw y ffalsder hwn â phla arall wedi ei 'chwanegu at y rhai o'r blaen. Canys fe darddodd o gyrph yr Aiphtiaid fesur anneirif o lau; ‡ trwy'r hyn, er mor annuwiol oeddynt, y buant feirw yn druenus; heb allu

* Exod. vii. 20.

† Exod. viii. 6. ‡ adn. 17.

difetha y fath hyn o bryfed, wrth olchi neu enneinio eu hunain. Trwy'r farn arswydus hon, yr oedd brenin yr Aipht mewn anhwyldeb, oddi ar ofn pa un yr ymresymmodd ei hun rhag i'w bobl gael eu difetha, ac oblegid fod dull y farwolaeth hon yn waradwyddus. Felly y gorfu arno mewn rhan adferu ei hun o'r dymmer annuwiol hon, i feddwl mwy cymmedrol; canys rhoddodd gennad i'r Hebreaid eu hunain i ymadael. Ond wedi i'r pla ar hynny gael ei symmud, tybiodd yn gymmwys i ofyn gauddynt adael eu plant a'u gwragedd o'u hol, megis gwystlon o'u dychweliad; wrth yr hyn yr annogodd Dduw i fod yn fwy tanbaid yn ei ddigter tu ag atto, megis pe buasai am siommi ei raglluniaeth, ac megis pe Moses, ac nid Duw oedd yn cospi yr Aiphtiaid oblegid yr Hebreaid. Canys efe a lanwodd y wlad honno ag amryw greaduriaid heintlyd, o wahanol naturiaethau, y fath yn wir na welwyd yngolwg dynion o'r blaen. Trwyddynt hwy y dynion eu hunain a fuant feirw, a'r tir ydoedd yn ymddifad o lafurwyr i gael triniaethau: ac os diangai rhyw bethau rhag eu difetha ganddynt, hwy a leddid gan haint ag oedd yn gorddiwes y gwŷr hefyd.

Ni ymostyngodd Pharaoh etto i ewyllys Duw; ond tra y caniattaodd i'r gwŷr gymmeryd eu gwragedd gyd â hwy, efe a benderfynodd ar fod iddynt adael eu plant o'u hol. Duw gan hynny a ymroddodd i gospi ei ddrygioni ef ag amryw farnedigaethau, a'r rhai hynny yn drymmach nag a deimlasant o'r blaen; canys eu cyrph a lanwyd â chornwydydd llinorog, y rhai a dorrent allan yn archollion, tra ar yr un pryd yr oedd llosgfeydd o'u mewn; a rhan fawr o'r Aiphtiaid a ddifethwyd yn y modd yma. Ond pan na ddygwyd y brenin i ymresymmu ar yr achos yma, danfonwyd cenllysg i lawr o'r nefoedd; a'r cyfryw genllysg a'r nas gwelwyd eu bath yn ardal yr Aipht o'r blaen, * ac nid oeddynt debyg i rai a syrthient i lawr mewn ardaloedd eraill yn † amser gauaf, ond yn fwy na 'r rhai a ddeuant i lawr ynghanol y gwanwyn ar y rhai sy'n aros ymbarthau 'r gogledd a'r gogledd-orllewin. Y cenllysg hyn a dorrasant i lawr ganghennau eu coed ag ydoedd yn llawn ffrwythau. Ar ol hyn llwythau o locustiaid a ddifethodd yr had na niweidiasid gan y cenllysg; felly pob gobaith o ffrwythau 'r ddaear a'r coedydd ydoedd wedi ei golli yn awr ym mhlith yr Aiphtiaid.

Gallasid meddwl y buasai y trallodion rhaggrybwylledig yn ddigonol i wneuthur un a feddiannid â mesur o gallineb yn deimladwy o'r hyn ag oedd er ei fantais. Ond Pharaoh, yr hwn ni arweinid gymmaint gan anghallineb a chan ei annuwioldeb, ïe pan ganfyddai achos ei drueni, etto a ymrysonai â Duw, ac yn wirfoddol a ymwrthodai ag achlysuron rhinwedd. Felly parodd i Moses gymmeryd yr Hebreaid ymaith, gyd â'u gwragedd a'u plant; ond i adael eu hanifeiliaid o'u hol gan ddarfod difetha anifeiliaid yr Aiphtiaid. Ond pan ddywedodd Moses fod yr hyn a ofynnai yn anghyfiawn, gan fod yn rhaid iddynt aberthu i Dduw o'r anifeiliaid hynny, a'r amser wedi estyn ar y cyfrif yma, tywyllwch du-dew, heb y radd leiaf o oleuni, a ymdanodd ei hun dros yr Aiphtiaid, pa un ydoedd yn gymmaint rhwystr i'w golwg, a'u hanadl gan drwch yr awyr yn cael ei hattal, fel y buont feirw yn druenus; ac eraill yn arswydo rhag eu llyngcu i fynu gan y cwmwl du-dew. Heblaw hyn, wedi i'r tywyllwch am dri diwrnod a thair nos fyned ymaith, a phan nad oedd Pharaoh etto wedi edifarhau, a gadael i'r Hebreaid fyned ymaith, Moses a ddaeth atto gan ddywedyd, "Pa hyd y byddi yn anufudd i orchymmyn Duw? canys efe a archodd i ti adael i'r Hebreaid fyned ymaith; ac nid oes un modd arall i'ch rhyddhau o'r trallodion yr ydych danynt, ond trwy wneuthur felly." Ond yr oedd y brenin yn ddigllon wrth yr hyn a ddywedai, gan fygwth torri ymaith ei ben ef os deuai drachefn i'w aflonyddu ynghylch y matterion hyn. Ar hyn Moses a ddywedodd, na lefarai mwyach wrtho am danynt; ‡ ond y byddai iddo ef ei hun ynghyd a'r rhai pennaf ymhlith yr Aiphtiaid, erchi i'r Hebreaid ymadael a'u gwlad. Felly wedi i Moses ddywed-

* Exod. ix. 24. † Ymherthynas i'r cenllysg hyn yn y gauaf a'r gwanwyn gerllaw 'r Aipht a Judea, gwelwch y cyffelyb am daranau a mellt yno, yn nôd ar VI. 5. ynghyd a nôd Havercamp ar III. 1.

‡ Exod. ix. 29.

y geiriau hyn, efe a aeth allan o'i wydd ef.

Wedi i Dduw roddi arwydd, mai ag un pla yn rhagor y cymmellai yr Aiphtiaid i adael i'r Hebreaid fyned ymaith, efe a orchymmynodd i Moses ddywedyd wrth y bobl am geisio aberth yn barod; a bod iddynt barottoi eu hunain ar y degfed dydd o'r mis Xanthicus erbyn y pedwerydd dydd ar ddeg; yr hwn fis a elwir gan yr Aiphtiaid Pharmuthi, a Nisan gan yr Hebreaid; ond y Macedoniaid a'i galwant Xanthicus. Ac y byddai iddo ef ddwyn ymaith yr Hebreaid, a'r hyn oll a berthynai iddynt. Yn ganlynol wedi i Moses gael yr Hebreaid mewn parodrwydd i'w hymadawiad, ac wedi ymgynnull y bobl ynghyd yn llwythau, efe a'u cadwodd ynghyd yn yr un lle. Ond pan ddaeth y pedwerydd dydd ar ddeg, a phawb mewn parodrwydd i ymadael, hwy a offrymasant yr aberth, gan buro eu tai â'r gwaed, ac arferyd tuswau o isop i'r pwrpas hwnnw; ac wedi iddynt swpperu, hwy a losgasant weddillion y cig, a hwy megis ar eu cychwyniad. Oddiwrth yr hyn yr ydym ni etto yn arfer yr aberthiad hwn yn yr un modd, ac yn galw yr ŵyl yma Pasch, yr hyn sydd yn arwyddo mynediad drosodd, o herwydd i Dduw y dydd hwnnw fyned drosodd neu heibio i ni, ac anfon pla ar yr Aiphtiaid. Canys dinystr y rhai cyntaf-anedig a ddaeth ar yr Aiphtiaid y noson honno; felly y bu i lawer o'r Aiphtiaid ag oedd yn byw yn agos i lŷs y brenin, berswadio Pharaoh i adael i'r Hebreaid fyned ymaith. Yn ganlynol efe a alwodd am Moses, gan beri drachefn iddynt fyned ymaith; gan feddwl os yr Hebreaid a ymadawent unwaith o'r wlad, y rhyddheid yr Aipht oddiwrth ei thrallodion. Hwy hefyd a anrhydeddasant yr Hebreaid â rhoddion;* rhai i'r diben iddynt ymadael ar frys; ac eraill ar gyfrif eu cymmydogaeth, a'r cymdeithasrwydd oedd rhyngddynt â hwy.

## PENNOD XV.

*Am ymadawiad yr Hebreaid o'r Aipht, dan arweiniad Moses.*

FEL hyn yr Hebreaid a aethant allan o'r Aipht, tra'r oedd yr Aiphtiaid yn wylo, ac yn edifarhau am arfer triniaeth mor galed tu ag attynt. Yn awr hwy a gymmerasant eu taith heibio i Letopolis, lle ag oedd y pryd hwnnw wedi ei adael yn amhreswyledig, ond lle yr adeiladwyd Babilon pan ddifrododd Cambyses yr Aipht. Ond fel ag yr aethant hwy ymaith ar ffrwst, y trydydd dydd, hwy a ddaethant i le a elwid Baalzephon ar lan y Mor Coch; a phan nad oedd lluniaeth iddynt i'w gael yn y wlad, o herwydd mai diffeithwch ydoedd, hwy a fwyttasant dorthau wedi eu tylino o flawd wedi crasu ychydig arnynt gan wres cymmedrol, a'r lluniaeth hwn a wnaethant ddefnydd o hono dros ddeng niwrnod ar hugain: canys yr hyn a ddygasant gyd â hwynt o'r Aipht, ni ddigonai y bobl dros hwy amser; a hynny yn unig tra y rhannent i bob un gymmaint ag a wasanaethai angen, ac nid digonedd. O ba le y mae er cof am y diffyg yr oeddym ynddo y pryd hynny yr ydym yn cadw gwyl am wyth niwrnod, pa un a elwir gwyl y Bara Croyw. Yn awr rhifedi yr holl dyrfa a aethant allan, gan gymmeryd i mewn wragedd a phlant, ni ellid yn hawdd eu cyfrif; ond y rhai oedd o oedran cymmwys i ryfel, ydoedd chwe' chan' mil.

Gadawsant yr Aipht yn y mis Xanthicus, ar y pymthegfed dydd o'r mis lleuadawl; pedwar cant a deng mlynedd ar hugain, ar ol dyfodiad ein tad Abraham i wlad Canaan. Ond dau cant a phymtheg mlynedd† yn unig wedi

*Yr anrhegion mawrion hyn a wnaethpwyd i'r Israeliaid, o lestri arian, llestri aur, a gwisgoedd, fel y mae Josephus yn iawn sylwi, oeddynt roddion, ac nid wedi eu benthycca iddynt, fel y mae ein cyfieithiadau ni yn eu cam-ddarlunio. Yspail oeddynt a ofynnid, ac nid a fenthyccid ganddynt; Gen. xv. 14. Exod. iii. 22. xi. 2. Sal. cv. 37. fel y mae yr un cyfieithiad yn cam-ddeongli y gair Hebraeg a arferir yma, Exod xii. 35, 36. Yr oedd Duw wedi gorchymmyn i'r Iuddewon i ofyn y pethau hyn fel eu tâl neu wobr, oblegid eu caethiwed hir a chwerw yn yr Aipht; megis cymmod am fywydau yr Aiphtiaid; ac fel ammodau o ymadawiad yr Iuddewon, a gwaredigaeth yr Aiphtiaid oddiwrth y barnedigaethau ofnadwy hyn; y rhai pe na ddarfuasent yn awr, buan y buasent yn ddynion meirw oll, fel yr oeddynt eu hunain yn cyfaddef, xii. 23. Ac nid oedd cyssondeb yn eu benthycciad, pan oedd yr Israeliaid yn ymadael yn llwyr o'u tir hwynt.

†Paham y mae y cyhoeddiad Masoreaidd mor ddisail yn talfyrru yr hanes yma yn Exod. xii. 40. ac i gyfrif pedwar cant a deg ar hugain o flynyddoedd i ymdeithiad yr Israeliaid yn yr Aipht: pan y mae'n eglur, ie oddiwrth yr amseryddiaeth Masoreaidd mewn lle arall, yn gystal ag oddiwrth y testun ei hun yn y cyhoeddiad Samaritanaidd, y Septuagint, a Josephus, ddarfod iddynt ymdaith yn yr Aipht yn unig hanner yr amser hynny, ac fel canlyniad, eu hymdaith dros yr hanner arall ydoedd yn nhir Canaan, cyn eu ddyfodiad i'r Aipht, sydd anhawdd ei ddywedyd.

symmudiad Jacob i'r Aipht; y bedwar ugeinfed flwyddyn ydoedd o oedran Moses, a thair yn rhagor o oedran Aaron. Dygasant hefyd gyd â hwynt esgyrn Joseph, megis y rhybuddiodd efe ei feibion i wneuthur.

Yr Aiphtiaid, pa fodd bynnag, yn fuan a edifarhasant oblegid ymadawiad yr Israeliaid;* a'r brenin hefyd ydoedd dra gofidus o herwydd i hyn gael ei ddwyn o amgylch drwy swynion a hudoliaethau Moses; felly hwy a ymroisant i'w dilyn hwynt. Yn ganlynol, hwy a gymmerasant eu harfau, a'u dodrefn rhyfel eraill, ac a erlidiasant ar eu hol, i'r diben i'w dychwelyd, os unwaith y goddiweddid hwynt; o herwydd na fyddai ganddynt un esgus i weddio Duw yn eu herbyn, gan eu bod eisoes wedi cael caniattad i fyned allan o'r Aipht. A hwy a ddychymmygasant y gallent yn esmwyth eu goddiweddyd, gan nad oeddynt yn arfogion, ac y byddent yn flinedig gan eu taith. Felly hwy a frysiasant i'w herlid hwynt, ac a ymholasant â phawb a gyfarfyddent â hwy pa ffordd yr aethent. Ac yn wir yr oedd y tir hwnnw yn anhawdd ei deithio drosodd, nid yn unig gan luoedd, ond i ddyn ei hunan hefyd. Yn awr, Moses a arweiniodd yr Hebreaid y ffordd hon, fel os edifarhäai yr Aiphtiaid, ac yr ewyllysient erlid ar eu hol hwynt, yr elent dan gospedigaeth am eu drygioni a thorriad yr addunedau a wnaethant iddynt hwy; efe hefyd a ddewisodd y ffordd hon ar gyfrif y Philistiaid, y rhai a ymrafaeliasai â hwynt, ac oeddynt yn eu cashau er's hen amseroedd; fel ym mhob modd na wybyddent am eu hymadawiad, oblegid fod eu gwlad hwy yn agos i'r Aipht; ac oddi yma y bu na ddarfu i Moses eu harwain hwynt ar hyd ffordd ag oedd yn tueddu at dir y Philistiaid, ond ewyllysio yr oedd iddynt fyned drwy y diffeithwch; ac felly ar ol hir deithio, a mynych drallodion, y byddai iddynt ddyfod i mewn i wlad Canaan. Rheswm arall ydoedd, o herwydd i Dduw orchymmyn iddo ddwyn y bobl i fynydd Sinai, fel yr offrymment aberthau iddo ef yno.

Yn awr, wedi i'r Aiphtiaid orddiwes yr Hebreaid, hwy a ymbarottoisant i ymladd â hwynt, ac o herwydd eu lliosogrwydd hwy a'u gyrrasant i le cyfyng; canys y nifer a erlidiasant ar eu hol ydoedd chwe' chant o gerbydau, deng mil a deugain o wŷr meirch, a dau can mil o wŷr traed, oll yn arfogion. Hwy hefyd a oresgynasant y ffyrdd ar hyd pa rai y dychymmygent fod mynedfa 'r Hebreaid, gan eu cau † i fynu rhwng dau fynydd anhygyrch a'r mor, canys yr oedd ar bob tu fryniau cribog ag oedd yn cyrraedd i'r mor, y rhai oedd yn annhramwyol oblegid eu gerwindeb, ac yn rhwystr iddynt i ffoi; oblegid hyn hwy a wasgasant yno ar yr Hebreaid gyd â'u byddin, lle 'r oedd crib y mynyddau yn un â'r mor, ac yno gosodasant eu milwyr yn y bylchau ar y mynyddoedd, fel y gallent wrth hynny eu lluddas i gael un tramwyfa i fyned drosodd i'r gwastadedd.

Pan ydoedd yr Hebreaid, gan hynny, yn analluog i ymgynnal, a hwy yn awr megis wedi gwarchae arnynt, mewn diffyg o luniaeth, ac heb ganfod un ffordd o ddiangfa; a phe buasai ganddynt feddwl i ymladd, yr oeddynt yn ymddifad o arfau; disgwyliasant gan hynny eu hollawl ddinystrio, oddigerth iddynt roddi eu hunain i fynu yn ewyllysgar i'r Aiphtiaid: felly hwy a osodasant y bai ar Moses, ‡ ac anghofiasant yr arwyddion a wnaethai Duw er adferiad

* Exod. xiv. 5.

† Cymmerwch y brif ran o nod odiaethol Reland ar y lle hwn, yr hwn sy 'n mawr egluro Josephus a'r Ysgrythyrau yn yr hanes yma, gyd â'r Darlun perthynol iddo, fel y canlyn:—"Trafaeliwr," eb Reland, "enw pa un ydoedd Eneman, wrth ddychwelyd o'r Aipht, a ddywedodd wrthyf, iddo fyned ar hyd yr un ffordd o'r Aipht i fynydd Sinai, ag a dybiodd i'r Israeliaid gynt ei thrafaelu, ac iddo ganfod amryw randiroedd mynyddig ag oedd yn cyrraedd hyd at y Mor Coch, megis y darluniodd hwynt i mi. Gwel A, B, C. Meddyliodd i'r Israeliaid fyned ym mlaen mor bell a diffeithwch Etham, (gwel Exod. xiii. 20.) pan orchymmynwyd iddynt gan Dduw ddychwelyd yn ol, (gwel Exod. xiv. 2.) a sefydlu eu gwersyll rhwng Migdol a'r môr; a phan nad oeddynt yn alluog i ffoi, oddieithr trwy 'r môr, yr oeddynt yn y cyffelyb sefyllfa ag a arwyddir yma wrth y llythyren B, ym mha le y cauasid hwynt i mewn ar bob llaw gan y mynyddoedd; ac mai ar y lle y saif y D yr ydoedd byddin Pharaoh. Meddyliodd hefyd y gallem ddysgu deall oddi wrth hyn pa fodd y gellid dywedyd fod yr Israeliaid yn Etham cyn iddynt groesi 'r môr, ac etto y gellid dywedyd eu dyfod i Etham ar ol myned o honynt dros y môr. Heblaw hyn, efe a roddes hanes i mi y modd yr aeth mewn cwch dros afon, gerllaw 'r Suez, yr hon meddai efe sydd raid ei bod yr un a Heroopolis yr hynafiaid, gan nad allai y ddinas honno fod a'i sefyllfa yn un lle arall yn y gymmydogaeth honno."

Am yr ymadrodd godidog a ddygir i mewn yma gan Dr. Bernard, allan o Herodotus, ymherthynas i'r dystiolaeth fwyaf hynafiaethol o eiddo 'r cenhedloedd am yr Israeliaid yn dyfod trwy 'r môr coch i Palestina, yr esgob Cumberland a ddangosodd, ei fod yn perthynu i fugeiliaid yr hen Ganaan neu Phenicia, a bod eu symmudiad o'r Aipht i Ganaan, neu Phenicia ym mhell o flaen dyddiau Moses.

‡ Exod. xiv. 11.

eu rhyddid, a hyn mor bell ag y darfu i'w gwallgred eu cymmell hwynt i daflu cerrig at y prophwyd, tra yr oedd yn eu hannog, ac yn addaw gwaredigaeth iddynt; a hwy a ymroisant i roi eu hunain i fynu i'r Aiphtiaid; felly yr oedd galar ac wylofain ymhlith y gwragedd a'r plant, y rhai nid oedd yn ymddangos iddynt ond distryw yn unig ger bron eu llygaid, tra yr oeddynt wedi eu hamgylchu â mynyddoedd, y môr, a'u gelynion, ac heb ganfod un ffordd i ffoi rhagddynt.

Eithr Moses, er i'r holl liaws edrych yn ddigllon arno, ni roddodd heibio ei ofal drostynt, ond a edrychodd heibio i bob peryglon, trwy ei hyder ar Dduw, yr hwn eisoes a'i cyfarwyddasai yn eu hamrywiol gamrau tu ag at adferiad o'u rhyddid, yr hwn a ragaddawasai, na oddefai iddynt yn awr gael eu darostwng gan eu gelynion, i'w gwneud yn gaeth-weision, neu gael eu lladd ganddynt; a chan sefyll yn eu canol, efe a ddywedodd wrthynt, "Nid yw gyfiawn i ni anghredu dynion, tra hyd yma y maent yn iawn drefnu ein achosion ni, megis pe na byddent y cyfryw ddynion rhagllaw; ond nid yw ddim gwell na gwallgofrwydd i ni y pryd hyn anobeithio gofal rhagluniaeth Duw drosom, trwy allu pa un y cyflawnwyd yr hyn a addawyd i ni, pan na ddisgwyliasoch y cyfryw beth: fy meddwl yw, yr hyn oll a berthynodd i mi yn eich gwaredigaeth, a'ch diangfa o gaethiwed. Ië, pan ydym yn y cyfyngder mwyaf, megis y gwelwch ein bod yn awr, ni a ddylem yn hytrach obeithio y byddi Dduw ein cynnorthwyo ni, trwy weithred pa un yr ydym yn awr wedi ein hamgylchu â'r lleoedd cyfynghyn, fel y gwaredai efe ni allan o'r fath anhawsderau ag sydd mewn modd arall yn anorfod, o ba le ni ddichon i chwi na'ch gelynion ddisgwyl y cewch ymwared, a bod iddo ar unwaith ddangos ei allu ei hun, a'i ragluniaeth drosom ni; ac nid yw Duw yn arferol o estyn ei gynnorthwy mewn anhawsderau bychain i'r rhai y mae efe yn eu hoffi, ond yn y fath amgylchiadau a'r na fedr neb ganfod pa fodd y gall un math o obaith ddynol wella eu hamgylchiad. Ymddiriedwch, gan hynny, i'r fath Amddiffynnwr, ag sydd yn alluog i wneuthur pethau bychain yn fawrion, ac i ddangos nad yw'r holl gadernid yma sydd yn eich erbyn ddim ond gwendid; ac na ddychryner chwi drwy'r olwg ar fyddin yr Aiphtiaid; ac na anobeithiwch am waredigaeth o herwydd fod môr o'ch blaen chwi, a'r mynyddau o'ch ol, heb y cyfleusdra lleiaf o ffoedigaeth yn ymddangos; canys y mynyddoedd yma, os ewyllys Duw a'i myn, a wneir y wastadedd o'ch blaen chwi, a'r môr a droir yn sychdir."*

## PENNOD XVI.

*Am wyrthiol raniad y Môr i'r Hebreaid pan erlidiwyd hwy gan yr Aiphtiaid; ac am ddadymchweliad eu gelynion.*

WEDI i Moses ddywedyd hyn, efe a'u tywysodd at y môr, tra 'r oedd yr Aiphtiaid yn edrych arnynt, canys yr oeddynt hwy yn eu golwg. Yn awr yr oedd y rhai hyn mor ofidus o herwydd eu llafur yn yr erlyniad, fel y tybiasant yn gymmwys roddi heibio ymladd hyd y dydd nesaf; ond wedi dyfod Moses at lann y môr, efe a gymmerodd ei wialen, gan wneud ei ymbiliau at Dduw, a galw arno ef i fod yn gynnorthwywr ac yn amddiffynwr iddynt: ac a ddywedodd, "Nid ydwyt ti heb wybod, O Arglwydd, ei fod tu hwnt i allu a dyfais ddynol, i ochelyd yr anhawsderau yr ydym yn awr danynt, ond rhaid ei fod dy waith di yn unig ac yn gyfan-gwbl i drefnu gwaredigaeth i'r lluoedd hyn a adawsant yr Aipht wrth dy orchymmyn di. Yr ydym yn anobeithio am gymmorth a gwaredigaeth gan neb arall, ac yn pwyso yn unig ar y gobaith sydd gennym ynot ti; ac os oes unrhyw drefn a all addaw diangfa i ni trwy dy ragluniaeth, yr ydym yn edrych i fynu attat ti am dani; a deued i ni ar frys, ac amlyga dy allu yn rhoddi calondid i'r bobl hyn, a gobaith o waredigaeth, y rhai ydynt wedi dwfn suddo yn eu meddyliau i gyflwr anghyssurus. Yr ydym mewn lle digymmorth, ac etto lle ydyw ag sydd yn dy feddiant di, canys y môr sydd o'n blaen, a'r mynyddodd o'n hamgylch,

* Yr araith yma sydd dra byrr yn ein copiau ysgrythyrol. Exod. xiv. 13, 14.

eiddo ti ydynt: felly y mynyddoedd hyn a ymagorant eu hunain, os ti a orchymmyni iddynt; a'r môr hefyd, os gorchymmyni iddo, a dry yn dir sych: ïe, nyni a allem ddiangc ag ehediad trwy yr awyr, pe byddai i ti benderfynu hynny i ni yn ffordd o iachawdwriaeth."

Wedi i Moses fel hyn osod ei gyffes ger bron Duw, efe a darawodd y môr â'i wialen, yr hwn a holltodd yn ei ganol wrth yr ergyd, a chan dderbyn ei ddyfroedd hynny iddo ei hun, a adawodd dir sych ynddo megis prif-ffordd, fel modd o ddiangfa i'r Hebreaid.* Yn awr, wedi i Moses weled yr ymddangosiad yma o Dduw, a darfod i'r mor gilio o'i le ei hun, a gadael ynddo dir sych, efe ei hun a aeth yn gyntaf iddo, ac a archodd i'r Hebreaid ei ddilyn ar hyd y ffordd ddwyfol honno, ac i lawenychu wrth y perygl yr oedd eu gelynion a'u dilynent hwy ynddo; ac a roddodd ddiolch i Dduw am y waredigaeth ryfedd a ymddangosodd oddiwrtho ef.

Yn awr, pan na wnaeth yr Hebreaid ddim arosiad, ond a aethant yn gyflym ym mlaen, megis yn cael eu tywys gan bresennoldeb Duw; meddyliodd yr Aiphtiaid ar y cyntaf eu bod wedi amhwyllo, ac yn rhuthro i ddinystr tra amlwg; ond wrth eu canfod wedi myned ym mhell o ffordd, ac heb gael dim niweid, ac nad oedd rhwystr neu anhawsdra wedi syrthio arnynt yn eu taith, gwnaethant frys i erlid ar eu hol hwynt; a chan obeithio y byddai 'r môr yn dawel iddynt hwythau hefyd, gosodasant eu gwŷr meirch ym mlaenaf, ac felly yr aethant i wared i'r môr. Yn awr yr Hebreaid, tra buont hwy yn ymwisgo â'u harfogaeth, a ragorasant arnynt, ac a aethant drosodd yn gyntaf i dir y tu arall i'r môr, heb dderbyn dim niweid; oddiwrth yr hyn yr annogwyd y lleill yn fwy cefnog i'w herlid hwynt, gan ddisgwyl na ddeuai dim niweid iddynt hwythau ychwaith: ond nid oedd yr Aiphtiaid yn ystyried eu bod yn anturio i brif-ffordd wneuthuredig i'r Hebreaid, ac nid i neb arall; ddarfod gwneuthur y ffordd hon er gwaredigaeth i rai mewn perygl, ond nid i'r rhai ydoedd o ddifrif am ei defnyddio er dinystr i eraill. Cyn gynted gan hynny ag yr aeth holl fyddin yr Aiphtiaid i'w fewn, y mor a ddylifodd i'w le ei hun, gan ddychwelyd yn donnau gerwin wedi eu cyfodi gan wynt ystormus,† ac a orchuddiodd yr Aiphtiaid. Cawodydd o wlaw hefyd a ddisgynasant o'r wybr, gyd â tharanau a mellt arswydus, a ffaglau o dân. Taran-ergydion hefyd a saethwyd arnynt; ac nid oedd unrhyw beth y mae Duw yn ei anfon ar ddynion fel arwyddion o'i ddigofaint, a'r na ddigwyddodd yr amser hwn; canys noswaith dywyll a dychrynedig a'u goddiweddodd hwynt, ac felly y difethwyd yr holl ddynion hynny, fel na adawyd un i ddwyn cennadwri o'r digwyddiad galarus hwn at eraill o'r Aiphtiaid.‡

Ni allai 'r Hebreaid gynnwys eu hunain gan lawenydd wrth eu rhyfeddol waredigaeth, a dinystr eu gelynion; gan feddwl eu hunain yn awr wedi eu llwyr waredu, pan oedd y rhai a fynnai eu dwyn drachefn i gaethiwed wedi eu difetha, a phan wybuant mor sicr fod Duw iddynt yn amddiffynnwr. Ac yn awr wedi diangc oddi ar y perygl, y modd hwn yr oeddynt ynddo, a gweled eu gelynion wedi eu cospi yn y cyfryw ddull a'r na chrybwyllir am neb dynion eraill, buont ar hyd y nos yn yr ymarferiad o ganu mawl, trwy hymnau a chaniadau gorfoleddus. Moses § hefyd a gyfansoddodd gân i Dduw, yn cynnwys ei fawl, a diolchgarwch iddo am ei

* Exod. xiv. 21.

† Y tymhestloedd hyn o wynt, taranau a mellt, pan foddwyd byddin Pharaoh, sydd agos yn anghrybwylledig yn ein copiau o Exodus, ond sydd gyflawn yn yr un hynny o eiddo Dafydd, Sal. lxxvii. 16, 17, 18.

‡ Exod. xiv. 28.

§ Yr hyn a wrthddadlenodd rhai yn erbyn y mynediad yma o'r Israeliaid trwy'r Mor Coch, mewn un noswaith, trwy sylwi ar y darluniau cyffredin, sef, gan fod y môr yn y lle hwn ynghylch deg ar hugain milldir o led, na allai lliaws mor fawr fyned drosodd mewn cyn fyrred amser, sydd gam-gymmeriad mawr. Mons. Thevenot, yr hwn ydoedd lygad-dyst o'r lle, sydd yn hyspysu i ni, fod y môr hwn, dros gylch pum diwrnod o ymdaith, heb fod, mewn un man o hono, yn fwy nag wyth neu naw milldir o lêd; ac mewn un man ond pedair neu bump o filltiroedd, yn ol map neu ddarlun De Lisle, yr hwn a wnaethpwyd oddiwrth yr awdnron goreu.

Yr hyn a wrth-ddadleuwyd ymbellach ynghylch y mynediad hyn trwodd o eiddo 'r Israeliaid, a'r modd y boddwyd yr Aiphtiaid, yn wyrthiol hefyd, sef, Y gallai Moses ddwyn yr Israeliaid drosodd ar amser trai, heb ei fod yn wyrthiol; pan ar yr un amser y gallai 'r Aiphtiaid, heb ddeall yn gystal ag ef am y llanw, gael eu boddi ar ei ddychweliad, yr hyn sydd hollol ddireswm. Etto y mae Artapanus, hen hanesydd cenhedlig, yn hyspysu i ni, mai cenedl annealus a elwid Memphisiaid, ag oedd yn byw mewn pellder, a haerent hyn; eithr efe a gyffesa fod cenedl ddysgedicach a elwid Heliopolitaniaid, ag oedd yn byw yn nes i'r lle hynny, yn addef dinystr yr Aiphtiaid, a gwaredigaeth yr Hebreaid yn wyrthiol. De Castros, yr arddangosddwr, yr hwn a

garedigrwydd, mewn cynghanedd o chwe' llinell yn ei phennillion.

Ymherthynas im' fy hun, mi a draddodais bob rhan o'r hanes yma yn gyttûn â'r hyn a gefais yn y llyfrau cyssegredig; ac na ryfedded neb * wrth ddieithrwch yr adroddiad, os datguddiwyd ffordd i'r dynion hynny yn yr hen amseroedd, y rhai oeddynt rydd oddiwrth ddrygioni rhai mewn oesoedd diweddar, pa un a ddigwyddodd yr hyn a grybwyllwyd drwy ewyllys Duw, neu ddigwydd y cyfan o hono ei hun; tra, er mwyn y rhai a ddilynasant Alexander, brenin Macedonia, yr hwn oedd etto yn byw mewn cydmariaeth ond ychydig amser yn ol, y darfu i fôr Pamphylia gilio, a rhoddi ffordd o fynediad iddynt trwyddo, pan nad oedd un arall i'w chael; fy meddwl yw, pan mai ewyllys Duw ydoedd difetha llywodraeth unbennaeth Persia; a hyn a gyffesir ei fod yn wir gan y rhai a ysgrifenasant am weithredoedd Alexander; ond am y cyflawniadau hynny penderfyned pob un y modd y gwelo yn oreu.

Ar y dydd nesaf Moses a gasglodd ynghyd arfau yr Aiphtiaid, y rhai a ddygwyd at wersyll yr Hebreaid gan ffrydiad y môr, a nerth y gwyntoedd yn ei gynnorthwyo; a hyn a farnodd efe megis yn digwydd trwy ddwyfol ragluniaeth, fel drwy hynny na fyddent yn ymddifad o arfogaeth; ac wedi gorchymmyn yr Hebreaid i ymwisgo eu hunain â hwynt, efe a'u harweiniodd tu a mynydd Sinai, mewn trefn i offrymmu aberth i Dduw, ac i osod i fynu erfyniau dros iachawdwriaeth y lliaws, fel y gorchymmynasid o'r blaen iddo.

---

fesurodd y môr hwn â chywreinrwydd mawr, sydd yn mynegi i ni, nad oes llanw na thrai helaeth yn y rhan yma o'r môr coch, i roddi lliw i'r ddychymmyg ragddywededig; ie, nad yw codiad y llanw yno ond ychydig fwy na hanner gwrhyd. Mor ofer a disail yw twyll-ddychymmyg yr ammheuwyr diweddar a'r hanghredinwyr! ac felly yn sicr y mae holiadau trwyadl, a thystiolaethau awdurdodol, yn dadbrofi ac yn gwrthddywedyd y cyfryw ddichell-ddadleuon ar bob achosion!

* Cymmerwch yma bedwar lle o'sgrifeniadau hen awdwyr ag sydd yn aros hyd yn bresennol, ymherthynas i fynediad Alexander fawr dros fôr Pamphylia, (canys y rhan fwyaf o'r awdwyr hynaf a welwyd gan Josephus, sydd wedi myned ar goll,) fy meddwl yw, Calisthenes, Strabo, Arrian, ac Appian. Am Calisthenes, yr hwn ei hun a gyd-deithiodd yn y rhyfel-gyrch hwnnw ag Alexander, Eustatius yn ei nodau ar y trydydd Iliad neu Bryddest o eiddo Homer, a ddywed i ni, ddarfod "i'r Calisthenes yma ysgrifennu y modd y bu i fôr Pamphylia, nid yn unig agoryd ffordd i Alexander, ond trwy gyfodi ac arddyrchafu ei ddyfroedd, a wnaeth ufudd-dod iddo fel ei frenin." Yr hanes a rydd Strabo yw hyn, Geog. XIV. t. d. 666. "Yn awr ynghylch Phaselis y mae 'r fynedfa gul honno ar lann y môr, trwy'r hon yr arweiniodd Alexander ei fyddin. Y mae yno fynydd a elwid Climax, yr hwn sydd yn cyssylltu â môr Pamphylia, gyd â mynedfa gul ar ei lann, pa un ar hin dawel sydd noeth neu sych, fel y gall trafaelwyr fyned ar hyd-ddo; ond pan fo 'r môr yn llifeirio, efe a orchuddir â thonnau i raddau uchel. Yn awr, fel y mae 'r ddisgynfa o'r mynyddoedd yn gwmpasog ac yn serth, ar hin dawel y maent yn gwneud arferiad o'r ffordd gyd ag ymmyl y môr. Ond digwyddodd i ddyfodiad Alexander y ffordd honno fod yn y tymmor gauaf; a chan orchymmyn ei hun yn bennaf i dynghedfen, efe a dreiddiodd ym mlaen cyn i'r tonnau gilio; ac felly y digwyddodd eu bod dros ddiwrnod cyfan yn teithio drosodd, ac oeddynt hyd eu hannerau dan ddwfr." Yr hanes a rydd Arrian yw hyn: Ll. I. t. d. 72, 73. "Pan symmudodd Alexander o Phaselis, efe anfonodd ryw ran o'i fyddin dros y mynyddau i Perga, pa ryw ffordd a ddangosodd y Thrasiaid iddo. Ffordd anhawdd, ond byrr ydoedd. Pa fodd bynnag, efe ei hun a arweiniodd y rhai hynny ag a aethai gyd ag ef ar hyd glann y môr. Y ffordd sydd ddidramwy bob amser arall ond pan chwytho y gogleddwynt; ond os y deheuwynt a fydd drechaf, nid oes un dramwyfa gyd â glann y môr. Y pryd hyn, ar ol deheuwynt cryf, y gogleddwynt a chwythodd, a hynny nid heb ddwyfol ragluniaeth, fel yr oedd efe a'r rhai oedd gyd ag ef yn meddwl, ac a roddodd iddo fynedfa hawdd a chyflym ym mlaen gyd â'i luoedd." Pan y mae Appian yn cydmaru Cæsar ac Alexander ynghyd, efe a ddywed, "Fod pob un o honynt yn hyderu ar eu hyfdra a'u tynghedfen, yn gystal a'u medrusrwydd mewn rhyfel. Er siampl o hyn, Alexander a deithiodd dros wlad heb ddwfr ynddi, ym mhoethder yr haf, at Oracl y gau-dduw Jupiter Ammon; ac yn fuan a aeth dros borthladd Pamphylia, pan, drwy ddwyfol ragluniaeth, y torrwyd y môr ymaith; a'r rhagluniaeth yma yn attal neu yn ffrwyno y môr ar ei gyfrif ef, megis ag yr anfonodd wlaw iddo pan ydoedd ar daith yn y diffeithwch." De Bell. Civil. II. t. d. 522.

D. S. Gan, yn nyddiau Josephus, fel y mae efe yma yn sicrhau i ni, fod llawer o haneswyr hynafol yn rhoddi yr un cyfrif am Alexander ag a osodwyd i lawr yma, ymherthynas i ragluniaethol fynediad dyfroedd môr Pamphylia yn eu hol, pan ydoedd efe yn myned a'i fyddin i ddadymchwel unbennaeth Persia, yr hyn y mae'r awdwyr rhagddywededig ag sydd yn aros hyd heddyw yn cwbl gadarnhau; y mae 'n beth disail i Josephus gael ei feio yma, gan rai ysgrifenwyr diweddar, am grybwyll yr awdwyr hynafiaethol hynny ar yr achlysur yma. Ac ni all adfyfyriad Plutarch, neu un awdwr arall diweddarach na Josephus, haeru yn erbyn yr hyn a draddododd efe. Fe aeth Josephus ym mlaen wrth y tystiolaethau ag oedd ganddo y pryd hynny, a'r dystiolaeth honno yn ol yr awdurdod goreu. Felly pa beth bynnag a feddylia gwŷr diweddar am y peth ei hun, nid oes lliw o achos oddiyma i feio ar Josephus. Buasai yn hytrach yn ddarostyngedig i'w feio pe na chrybwyllasai am y pethau hynny. Pa fodd bynnag, wedi i'r 'sgrifeniadau a gyfrifir yn epistolau Alexander, adael heibio son yr hyn y mae 'r hen haneswyr yn sicrhau am y matter hwnnw, a'r hwn nis gwn am un sail ddigonol i'w wrthwynebu, megis yr hyspysa Plutarc i ni, (De Vit. Alexand. t. d. 674.) y mae achos i gwestiwno yr epistolau hynny pa un a ydynt o'r iawn ryw; neu feddwl o'r hyn lleiaf mai casgliad amherffaith o'r cyfryw oeddynt.

# LLYFR III.

*Yn cynnwys Amseriad o ddwy Flynedd.*

## O'R MYNEDIAD ALLAN O'R AIPHT, HYD WRTHODIAD Y GENEDL HONNO.

### PENNOD I.

*Am olynol Gyfnewidiau a brofodd yr Hebreaid yn eu Taith i Fynydd Sinai.*

WEDI i'r Hebreaid gael y fath ryfedd waredigaeth, yr oedd y wlad y daethant yn awr iddi yn dra phoenydiol iddynt, canys diffeithwch hollawl ydoedd, ac nid oedd dwfr yn ddigonol i'w hanifeiliaid, canys yr ydoedd wedi sychu i fynu, ac nid oedd lleithdra angenrheidiol i feithrin y planhigion. Felly gorfu iddynt dramwy trwy 'r wlad hon, gan nad oedd ffordd arall iddynt i'w chael. Hwy yn wir a ddygasant ddwfr gyd â hwynt o'r tir yr oeddynt wedi ei drafaelu o'r blaen, fel y parasai eu harweinydd iddynt; ond wedi treulio hwnnw gorfu arnynt dynnu dwfr o ffynhonnau gyd â llawer o anhawsdra, oblegid caledrwydd y ddaear yno. Y dwfr a gyfodid fel hyn, hefyd, ydoedd chwerw, ac anghymmwys i'w yfed, a hyn mewn mesurau bychain. Ac fel yr oeddynt yn teithio yn y modd hwn, hwy a ddaethant yn yr hwyrddydd i le a elwid Marah, * oddiwrth ddrygni ei ddwfr, canys Mar sydd yn arwyddo chwerwder. † Yno y daethant yn drallodedig, yn gystal o herwydd annibendod eu taith, a'u diffyg o luniaeth; canys yr ydoedd wedi llwyr ddarfod ganddynt erbyn y pryd hyn. Yn awr yr ydoedd yma ffynnon, yr hyn a barodd iddynt wneuthur arosiad yn y lle; canys er nad oedd yn ddigonol i ddiwallu tyrfa mor fawr, hi a barodd beth cyssur iddynt yn y fath le anial; canys hwy a glywsant gan y rhai a aethent i chwilio, nad oedd dim i'w gael os ymdeithient ym mlaen ymhellach. Y dwfr yma, pa fodd bynnag, ydoedd chwerw, ac yn anghymmwys i ddynion i'w yfed; ac nid yn unig felly, ond yr ydoedd yn annioddefol i'r anifeiliaid eu hunain.

Pan welodd Moses y bobl wedi digalonni gymmaint, ac na allid gwrthddywedyd yr achos o hono; canys nid oedd y bobl o naturiaeth byddin gadarn o wŷr, y rhai a allent â chadernid dynol wrthwynebu yr anghenion ag oedd yn awr yn gwasgu arnynt: ac â lliaws y plant a'r gwragedd, yn rhy weiniaid eu cynheddfau i allu eu perswadio trwy reswm, hyn a lwfrhaodd gefnogrwydd y gwŷr eu hunain. Moses ydoedd mewn poen ddirfawr, ac a wnaeth gyfyngder pob un yn eiddo iddo ei hun; canys yr oeddynt oll yn rhedeg atto ef i wneud eu deisyfiadau; y gwragedd ydoedd yn erfyn tros eu rhai bychain, a'r gwŷr tros y gwragedd, na edrychai heidio iddynt, ond ymofyn rhyw ffordd neu gilydd o ymwared i'w teuluoedd. Efe gan hynny a ymroddodd i weddio Duw, am ryngu bodd iddo gyfnewid y dwfr a'i wneud yn gymmwys i'w yfed. Ac wedi i Dduw ganiattau iddo y ffafr honno, efe a ymaflodd mewn pren ag ydoedd wrth ei draed ef, gan ei hollti yn ei ganol, ar ei hyd; ac yna efe a'i gollyngodd i lawr i'r ffynnon, ac a berswadiodd yr Hebreaid fod Duw wedi gwrando ei weddiau, ac addaw cyfnewid y dwfr yn gyfryw ag y dymunent ei fod, os ymostyngent i'r hyn beth ag a archai efe

* Dr. Bernard sy 'n sylwi fod y fan yma Mar, lle 'r ydoedd y dyfroedd yn chwerw, yn cael ei alw gan y Syriaid a'r Arabiaid, Mariri; a chan y Syriaid weithiau Marath, y cwbl wedi ei gasglu o'r gair Hebraeg Mar: megis y mae hefyd yn dal sylw, ei fod yn cael ei alw y ffynnon chwerw, gan Pliny ei hun. Pa ryw ddyfroedd ydynt chwerwon etto, fel y mae Thevenot yn sicrhau i ni; a bod palmwydd yn dra aml yno. Gwelwch hanes ei Deithiau, rhan I. pen. xxvi. t. d, 166.

† Exod. xv. 23.

iddynt, a hynny nid yn ol dull esgeulus ac anewyllysgar. A phan ofynasant pa beth a wnelent mewn trefn i gael y dwfr wedi ei gyfnewid er gwell; efe a barodd i'r rhai cadarnaf o'r dynion ag oedd yn sefyll yno i dynnu dwfr i fynu o'r ffynnon, ac a ddywedodd wrthynt mai pan dynnent y rhan fwyaf o'r dwfr i fynu, y byddai ei weddill yn yfadwy.* Felly hwy a lafuriasant wrtho nes i'r dwfr ymgymmysgu a phuro gymmaint a'i fod yn gymmwys i'w yfed.

Wedi symmud oddiyno hwy a ddaethant i Elim,† yr hwn le ydoedd yn edrych o bell yn ddymunol, canys yr oedd yno lwyn o balmwydd, ond wedi dyfod yn nes, fe ymddangosodd yn lle anfanteisiol, canys nid oedd y palmwydd mewn rhifedi yn fwy na deg a thrugain, ac yr oeddynt yn annheg a cham o dyfiad gan ddiffyg dwfr neu leithder, canys y wlad o amgylch ydoedd oll yn sychlyd, ac heb leithdra digonol i'w dwfrhau hwynt, a'n gwneud yn obeithlon a defnyddiol, oddi eithr yr hyn a darddai o'r ffynhonnau, pa rai ydoedd ddeuddeg mewn nifer; ychydig o leoedd llaith yn hytrach na ffynhonnau oeddynt, y rhai heb dorri allan o'r ddaear nac yn rhedeg drosodd, ni allent ddyfrhau y coed yn ddigonol. A phan gloddient i lawr yn y fath leoedd, ni chyfarfyddent â dwfr ynddynt; ac os codent ychydig ddiferion â'u llaw, yr oeddynt yn ei brofi yn ddiddefnydd o herwydd ei fod yn lleidiog. Y coed hefyd ydoedd ry weiniaid i ddwyn ffrwythau, o ddiffyg eu meithrin a'u bywiogi yn ddigonol gan y dyfroedd. Felly hwy a osodasant y bai ar eu harweinydd, gan wneuthur achwyniom tost yn ei erbyn; a dywedyd fod eu cyflwr truenus hwn, a'r prawf a gawsent o gyfyngderau, wedi ei beri ganddo ef; eu bod hwy wedi teithio ddeg ar hugain o ddiwrnodiau, ac wedi treulio yr holl ymborth a ddygasent gyd â hwynt; a chan na chawsent ddim cynnorthwy, yr oeddynt mewn amgylchiad tra anghyssurus. Fel hyn trwy osod eu meddyliau ar ddim ond eu presennol gyfyngderau, hwy a rwystrid i gofio pa fath waredigaethau a gawsent gan Dduw, a'r rhai hynny a ddaethai iddynt trwy rinwedd a doethineb Moses hefyd; felly yr oeddynt yn dra digllon wrth eu harweinydd, ac yn awyddus i'w labyddio ef, fel yr uniawn achos o'u presennol drallodau.

Ond tra 'r ydoedd y dyrfa yn ymgynhennu, ac yn ymosod yn chwerw yn ei erbyn, Moses yn siriol a ymorphwysai ar Dduw, ac ar y gofal cydwybodol a gymmerasai o'i bobl ei hun; ac efe a ddaeth i'w canol hwynt, ïe pan oeddynt yn tuchan yn ei erbyn, ac â cherrig yn eu dwylaw mewn trefn i'w ddifetha ef. Yn awr yr oedd efe o bresennoldeb prydferth, ac yn dra addas i berswadio 'r bobl trwy ei ymadroddion; yn ganlynol efe a ddechreuodd ddofi eu digter, ac a'u cynghorodd i beidio gadael i'w meddylfryd redeg yn ormodol ar eu cyfyngderau presennol, rhag iddynt wrth hynny adael i'r gwaredigaethau a gawsent gynt lithro o'u cof; ac efe a ddeisyfodd na fyddai iddynt ar un cyfrif, oblegid eu hanghyfleusderau presennol, ollwng o'u meddyliau y rhoddion a'r gwaredigaethau rhyfedd a gawsent gan Dduw, ond i ddisgwyl ymwared yn amyneddgar o'u cyfyngderau, o ba rai ni allent eu gwaredu eu hunain, eithr trwy y dwyfol ragluniaeth ag oedd yn gwylio drostynt: fel ag ysgatfydd fod Duw yn profi eu rhinwedd ac yn ymarfer eu hamynedd drwy y trallodion hyn, fel yr ymddangosai pa rymmusder oedd ynddynt, a pha goffadwriaeth oedd yn aros ynddynt o'i ryfedd weithredoedd ar eu rhan; a pha

* Y 'chwanegiadau a roddir yma at hanesiad Moses am bereiddiad dyfroedd Marah a ymddengys fel wedi ei gasglu o ryw hen awdwr cenhedlig, ac sy 'n ymddangos yn awdwr o lai awdurdod nag a ddilynir yn gyffredin gan Josephus. Ni fedd Philo sillaf o'r chwanegiadau hyn, nac un awdwr hynafol arall a wyddom ni am dano. Pe buasai Josephus yn 'sgrifennu ei Hynafiaethau i'r Iuddewon, prin y buasai yn sôn am yr amgylchiadau ansicr yma, ond oblegid ysgrifennu o hono i'r cenhedloedd, a rhag achwyn o honynt ei fod yn gadael heb grybwyll y cyfryw wyrthiau ag a darddodd oddiwrthynt, ni thybiodd yn gymmwys guddio yr hyn a gyfarfu ag ef yn ei 'sgrifeniadau ar y matter hwn; yr hwn arferiad sydd dra chyttun ag ymddygiad Josephus ar amryw achosion. Nid yw hyn, pa fodd bynnag, ond noeth ddychymmyg; a chan nad yw Josephus byth yn ei adrodd, pan oedd ei gopi ei hun, a gymmerid o'r deml, â'r fath chwanegiadau ynddo: neu pan oedd unrhyw nodau hynafol yn ei gyflawni; neu yn wir pan gymmerid hwynt o hynafiaethau Iuddewig a Chenhedlig; ni allwn yn chwaneg na noeth ddychymmygu ar y fath achos. Yn unig fod meddyliau yr Iuddewon yn gyffredin yn gwahaniaethu oddiwrth y rhai hynny o eiddo 'r cenhedloedd, fel nas gallwn weithiau ddyfalu i ba ochr neu blaid y cyfrifwn yn berthynol y fath chwanegiadau. Gwelwch hefyd ryw beth tebyg i'r chwanegiadau hyn yn hanes Josephus am Eliseus yn pereiddio ffynnon o ddwfr chwerw yn agos i Jericho.

† Exod. xv. 27.

un ai na feddylient am danynt ar yr achlysur o'r trueni yr oeddynt yn ei deimlo yn bresennol. Dywedodd fod yn ymddangos nad dynion da oeddynt oll mewn amynedd, neu goffâd yr hyn yn ddilynol a wnaethpwyd drostynt, weithiau trwy ddiystyru Duw a'i orchymmynion, wedi iddynt trwy 'r gorchymmynion hynny adael tir yr Aipht; ac weithiau drwy ymddwyn eu hunain yn anweddus tu ag at yr hwn ag oedd yn weinidog Duw, a hynny pan na chawsent erioed eu twyllo ganddo, yn yr hyn a ddywedai, neu 'r hyn a barasai efe iddynt trwy orchymmyn Duw. Efe hefyd a goffaodd iddynt yr hyn oll a aethai heibio; y modd y difethwyd yr Aiphtiaid, pan gynnygiasant eich rhwystro chwi, yn groes i orchymmyn Duw, a pha fodd y bu dwfr yr un afon iddynt hwy yn waed, ac heb fod yn gymmwys i'w yfed, ond a ydoedd felus ac yfadwy i chwi; a'r modd yr aethent ar hyd ffordd newydd trwy 'r môr, yr hwn a ffodd ryw bellder oddiwrthynt: trwy 'r hyn y cawsent hwy eu hunain eu hachub, ond a welsent eu gelynion wedi eu difetha; a phan oeddynt mewn diffyg o arfau, Duw a drefnodd iddynt amldra o honynt. Fel hyn y coffaodd y siamplau neillduol o'u hamddiffyn, pan oeddynt mewn ymddangosiad yn myned i gael eu difetha, ond Duw a'u gwaredodd hwynt mewn modd tra rhyfedd; a bod yr un gallu ganddo ef etto, ac na ddylent hwy, ïe yn awr, anobeithio yn ei ragluniaeth drostynt; ac yn ganlynol efe a'u hannogodd hwynt i aros yn llonydd, ac i ystyried na ddeuai cynnorthwy yn rhy ddiweddar, er nad o bossibl yn ddioed iddynt, os byddai 'n bresennol gyd â hwynt cyn eu goddiweddyd â thrwm gyfyngder. "Dylech," eb efe, "i ymresymmu y modd hwn, fod Duw yn oedi eich gwaredu chwi, nid oblegid nad yw efe yn gofalu drosoch; ond o herwydd y myn efe yn gyntaf brofi eich cadernid chwi, a'r diddanwch yr ydych yn ei gymmeryd yn eich rhyddid; fel y gallo wybod a oes meddyliau digon cadarn gennych i oddef diffyg lluniaeth, a phrinder o ddwfr, ar y cyfrif yma; neu a ydych yn hytrach yn caru bod yn gaeth-weision fel y mae anifeiliaid i'w perchennogion, y rhai a'u porthant yn helaethlawn, ond yn unig mewn trefn i'w gwneuthur o fwy o ddefnydd yn eu gwasanaeth. Am danaf fy hun, ni ofalaf gymmaint am fy nghadwraeth; ond os marw a wnaf yn anghyfiawn, ni chyfrifaf hynny yn dostrwydd arnaf; ond y mae'n ddrwg gennyf drosoch chwi, rhag wrth eich gwaith yn fy llabyddio, i hynny gael ei ystyried megis yn ddirmyg ar Dduw ei hun."

Trwy 'r moddion hyn Moses a lonyddodd y bobl, ac a'u hattaliodd rhag ei labyddio ef, gan beri iddynt edifarhau am yr hyn a fwriadasant; a chan feddwl o hono fod yr angen ag oeddynt dano yn gwneuthur eu byrbwylldra yn fwy esgusodol, barnodd yn angenrhaid iddo ddwyn eu hachos ger bron Duw trwy weddi ac ymbil, ac wedi myned o'r neilldu, efe a erfyniodd am gymmorth i'r bobl, a rhyw ffordd o waredigaeth o'r eisiau yr oeddynt ynddo; o herwydd mai yn Nuw, ac ynddo ef yn unig, yr oedd eu gobaith o iachawdwriaeth. Deisyfodd hefyd ar iddo faddeu 'r achlysur o achwyniad y bobl wrtho, gan mai hynny oedd natur dynolryw, sef bod yn anhawdd eu boddloni, a pharod i rwgnach ym mhob math o galedi. Yn ganlynol Duw a addawodd ofalu drostynt, a chaniattau y cymmorth yr oeddynt yn ewyllysio. Yn awr wedi i Moses glywed hyn, efe a aeth i lawr at y dyrfa; ac mor gynted ag y gwelsant ef yn llawenychu wrth yr addewidion a gawsai efe gan Dduw, hwythau a newidiasant dristwch ei hwynebau i sirioldeb. Felly efe a osododd ei hun yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd, ddyfod o hono i fynegi iddynt oddiwrth Dduw am waredigaeth o'u presennol drallodion. Yn ganlynol ychydig amser wedi hyn, daeth aneirif liaws o soflieir (pa ryw adar ydynt amlach ynghainge-for Arabia nag un lle arall,) drosodd gan ehedeg o amgylch uwch ben y gwersyll nes eu blino wrth ehedeg, ac megis arferol, ehedent yn isel ac yn agos i'r ddaear, nes syrthio o honynt i lawr ym mysg yr Hebreaid, y rhai a'u daliasant, ac a dorrasant eu newyn wrth ymborthi arnynt, gan feddwl mai dyma 'r ffordd a fwriadodd Duw i'w digoni â lluniaeth. Ar hyn, Moses a ddychwelodd ddiolch i Dduw am drefnu cymmorth mor brydlon iddynt, ac yn gynt nag yr addawsai.

Ond yn fuan ar ol cael y digonolrwydd cyntaf hyn o luniaeth, derbyniasant ail lawndra drachefn; canys fel yr oedd Moses yn dyrchafu ei ddwylaw i fynu mewn gweddi, syrthiodd gwlith i lawr; a Moses yn ei deimlo yn glynu wrth ei ddwylaw, a feddyliodd ei fod hefyd wedi dyfod yn lluniaeth oddiwrth Dduw; efe a'i profodd, ac wedi canfod y bobl heb wybod pa beth ydoedd, eithr yn meddwl mai odi 'r ydoedd, ac mai 'r hyn a ddisgynnai y pryd hynny o'r flwyddyn oedd; efe a hyspysodd iddynt, nad oedd y gwlith hwn yn disgyn o'r nefoedd y modd yr oeddynt hwy yn dychymmygu, ond ydoedd yn dyfod er cynhaliaeth a digonoldeb iddynt; felly efe a roddodd beth o hono iddynt, fel y boddlonid hwynt ynghylch yr hyn a ddywedasai wrthynt. Hwy hefyd a ddilynasant siampl eu harweinydd yn ei brofi, ac a foddhawyd â'r bwyd hwn, canys yr ydoedd fel mel o felusdra, ac mewn sylwedd yn debyg i bdelium, un o'r per-lysiau, ond mewn maintioli fel had coriander. Y bobl ydoedd yn awr yn dra diwyd yn ei gasglu, ond hwy a orchymmynwyd i'w gynnull yn gydradd,* sef llonaid homer i bob un bob dydd, o herwydd na ddenai 'r ymborth hwn iddynt wrth fesur rhy fychan, rhag na allai 'r gweiniaid gasglu eu cyfran, rhag eu trechu gan y rhai cryfion wrth ei grynhoi. Pa fodd bynnag, wedi i'r gwŷr cedyrn gasglu ychwaneg na'r mesur appwyntiedig, nid oedd ganddynt er hynny yn rhagor nag eraill, a hwy yn unig a flinasant eu hunain yn fwy wrth ei gasglu; canys ni chaent fwy nag omer bob un, a'r hyn a gawsent trwy gasglu gormodedd nid oedd o ddim defnydd iddynt, ond a lygrodd trwy iddo fagu pryfed, a throi yn chwerwder. Y fath luniaeth dwyfol a rhyfeddol ydoedd hwn! Llanwodd hefyd y diffyg o fwydydd o fath eraill i'r rhai a ymborthent arno; ac hefyd yn awr † dros yr holl le hwnnw, y mae 'r manna hwn yn disgyn fel gwlaw, yn gyfattebol i'r hyn a gafodd Moses gan Dduw, i'w anfon i'r bobl er eu cynnaliaeth. Yn awr yr Hebreaid a alwasant y lluniaeth hwn Manna, ‡ canys y gorair *man* yn ein iaith ni (Hebr.) sydd yn arwyddo gofyniad, Beth yw hwn? Felly yr Hebreaid oeddynt dra chyssurus wrth yr hyn a anfonwyd iddynt o'r nefoedd, a hwy a wnaethant ddefnydd o'r lluniaeth hwn am ddeugain mlynedd, § neu cyhyd ag yr arosasant yn yr anialwch.

Mor fuan ag y symmudasant oddi yno, hwy a ddaethant i Rephidim, || yn gystuddiedig i'r graddau eithaf gan eu syched: canys er cyfarfod o honynt gynt â ffynhonnau bychain, yn awr hwy a gawsant y ddaear yn hollawl sych, ac yr oeddynt yn ddrwg eu cyflwr. Hwy drachefn a droisant eu digter yn erbyn Moses; ond efe ar y cyntaf a geisiodd ochelyd gorffwylledd y lliaws, ac yna a ymneillduodd i fyned i weddi, gan erfyn ar Dduw, megis y trefnodd luniaeth iddynt pan oeddynt mewn eisiau mwyaf o hono, felly fod iddo roddi yn awr ddiod iddynt, gan nad oedd y ddawn o ymborth o ddim gwerth iddynt hwy heb ddïod yn gyfattebol. Ni oedodd Duw yn hir ganiattau y deisyfiad hwn iddynt, ond a addawodd agoryd ffynnon, a pheri dwfr iddynt o le nad oeddynt yn ei ddisgwyl; felly efe a orchymmynodd Moses i daro 'r graig ¶ ydoedd yn gorwedd yno â'i wialen, a derbyn o honi fesur helaeth o ddwfr gymmaint ag a fyddai 'n eisiau; canys efe a gymmerasai ofal i beri i ddwfr dar-

* Fe ymddengys i mi oddiwrth yr hyn a ddywed Moses, Exod. xvi. 18. St. Paul, 2 Cor. viii. 15. a Josephus yma, wedi eu cydmaru, fod y maintioli o fanna a ddeuai i lawr yn feunyddiol, ac heb waethygu, yn gymmwys fesur homer bob un, ym mysg y cwbl o luoedd yr Israeliaid, a dim yn rhagor.

† Y tyb yma am y mel-wlith neu fanna, a ganmolir gymmaint gan awdwyr hynafol a diweddar, megis ei fod yn arferol o gwympo i lawr yn Arabia, a'i fod o'r un natur a'r manna a ddanfonwyd i'r Israeliaid, sy'n archwaethu yn fwy o athrawiaeth Genhedlig nac Iuddewig neu Gristionogol. Nid yw anhebyg i ryw hen awdwr Cenhedlig, a ddarllenasid gan Josephus, feddwl felly, ac ni fynnai efe yma ei wrthwynebu, er ychydig o'r blaen, a ll. IV. p. 3. mae 'n union-gyrch yn cyfaddef na welsid ddim o hono o'r blaen. Pa fodd bynnag y lluniaeth hwn o'r nefoedd a ddesgrifir megis yn disgyn i lawr fel eira; a chan Artapanus, ysgrifenydd cenhedlig, fe 'i cydmarir i flawd, sef blawd ceirch, ac mewn lliw fel eira, a wlawid i wared gan Dduw. Traeth. ar yr Hen Dest. Chwanegiad, t. d. 239. Ond am darddiad y gair manna, pa un ai o'r gorair man, yr hyn y mae Josephus yn dywedyd oedd ei ystyr y pryd hynny, Pa beth yw? neu ynte o manah, cyfrannu, h. y. cyfranniad, neu ran a drefnid i bob un, y mae 'n beth ansicr. Yr wyf fi yn gogwyddo at yr arwyddocead diweddaf. Gelwir y manna hwn yn fara angylion, Sal. lxxviii. 25. a chan ein Iachawdwr, Ioan vi. 31, &c. yn gystal a chan Josephus yma ac mewn lleoedd eraill, dywedir ei anfon i'r Iuddewon o'r nefoedd.

‡ Exod. xvi. 15. § O'r fl. 1532 hyd 1492 cyn Crist. || Exod. xvii. 1.

¶ Y graig hon sydd yno hyd heddyw, fel y mae trafaelwyr diweddar yn cyttuno, ac sydd raid ei bod yr un â honno ag ydoedd yn nyddiau Moses.

darddu allan yn ddigonol heb ddim o'u llafur eu hunain.

Wedi i Moses dderbyn y gorchymmyn hwn, fe ddaeth at y bobl, y rhai oedd yn disgwyl ac yn edrych am dano, canys gwelsant eisoes ei fod ef yn dychwelyd gyd â brŷs o'i uchelfa. Mor gynted a'i ddyfodiad, dywedodd wrthynt, y gwaredai Duw hwynt o'u cyfyngderau presennol, a darfod iddo ganiattâu ffafr annisgwyliadwy iddynt, gan hyspysu y byddai i afon, er eu mwyn, redeg allan o'r graig; ond hwy a synnasant wrth wrando hynny, o herwydd dychymmygu o honynt y byddai raid o angenrheidrwydd dorri y graig yn ddrylliau, a hwy yn awr yn gyfyng arnynt gan syched, ac yn flin gan eu taith. Moses pa fodd bynnag, wrth daraw y graig, yn unig â'i wialen, a agorodd le i'r dwfr i ffrydio o honi, yr hwn a ddylifodd allan yn helaeth ac yn dra gloyw; a thra 'r oeddynt yn rhyfeddu wrth yr effaith o hyn, ac megis pe buasai yn eu disychedu wrth yr olwg arno: felly hwy a yfasant o'r dwfr hyfryd a melus hwn; a'r cyfryw yr oedd yn ymddangos ei fod ag a ellid ei ddisgwyl, pan ydoedd Duw yn rhoddwr o hono. Yr oeddynt yn awr hefyd yn rhyfeddu y modd yr oedd Moses yn cael ei anrhydeddu gan Dduw, a hwy a ddychwelasant aberth o ddiolchgarwch i Dduw, am ddaioni ei ragluniaeth tu ag attynt hwy. Yn awr yr ysgrythyr honno a osodwyd i fynu yn y deml,* a hyspysa i ni y modd y rhagddywedodd Duw i Moses y deuai dwfr allan yn y modd hwn o'r graig.

## PENNOD II.

*Am Ryfel yr Amaleciaid yn erbyn yr Hebreaid, a'u hollawl orchfygu hwynt.*

ENW yr Hebreaid a ddechreuodd eisoes fod yn barchus ym mhob lle, a sôn am danynt a redodd o amgylch, yr hyn a gynhyrfodd ofn mawr yn nhrigolion y gwledydd hynny: yn ganlynol hwy a anfonasant genhadon y naill at y llall, gan annog eu gilydd i amddiffyn eu hunain, ac i ymdrechu i ddifetha y dynion hynny. Y rhai a gymmellodd eraill i wneud felly oedd y rhai a breswyliasant Gobilitis a Phetra. Gelwid hwynt Amaleciaid, pa rai ydoedd fwyaf rhyfelgar o'r cenhedlaethau oedd yn byw o amgylch, brenhinoedd pa rai a annogasant eu gilydd, a'u cymmydogion, i ymrwymo i ryfela yn erbyn yr Hebreaid, gan adrodd iddynt am luoedd o ddieithriaid a ffoisent o gaethiwed yn yr Aipht, a'u bod yn gwylio gerllaw i'w difetha hwynt; yr hon fyddin ni ddylent wrth reswm cyffredin, ac er eu diogelwch eu hunain, fod yn ddiofal yn ei chylch, ond eu briwo a'u dryllio hwynt cyn iddynt ymgryfhau a dyfod i lwyddiant; ac o bossibl rhuthro arnynt mewn modd rhyfelgar, megis yn anturio ar eu difrawder heb ymosod arnynt o'r blaen; ac y dylent hwy ymddial eu hunain am yr hyn a wnaid yn yr anialwch; ond nad allid yn gystal gyflawni hyn wedi i'r Hebreaid unwaith osod eu dwylaw ar eu dinasoedd a'u heiddo; fod y rhai a ymdrechai i ddryllio grymmusder cenedl yn ei chyfodiad cyntaf, yn ddoethach na 'r rhai a geisiant eu hattal ymmlaen pan ddelont i rymmusder; megis y mae y rhai diweddaf hyn yn ymddangos fel pe baent yn ddig wrth amgylchiad blodeuog eraill, ond ni âd y cyntaf ddim lle i'w gelynion i ddyfod yn aflonyddwyr iddynt. Yn ol iddynt anfon cenhadon at y cenhedloedd cymmydogaethol, ac i'w plith eu hunain, ymroisant i orddiwes yr Hebreaid mewn brwydr.

Yr ymddygiadau hyn o eiddo trigolion y gwledydd hynny a barodd flinder a thrallod i Moses, yr hwn ni ddisgwyliodd y fath wrthwynebiad rhyfelgar: a phan oedd y cenhedloedd hyn yn barod i ymladd, a thyrfa 'r Hebreaid yn gorfod gwneud prawf o'u celfyddyd mewn rhyfel, yr oeddynt dan anhrefn mawr, ac mewn diffyg o bob angenrheidiau, etto yr oeddynt i wneuthur rhyfel â gwŷr ydoedd â phob arlwy ar ei gyfer. Yna y bu, gan hynny, i Moses ddechreu eu cefnogi hwynt, a'u cynghori i fod yn galonnog, ac ymorphwys ar gymmorth Duw, trwy 'r hyn y dyrchafasid hwynt i gyflwr o

* Nodwch yma, y dywedir fod y llyfr bychan o brif gyfreithiau Moses wedi ei osod i fynu yn y tŷ sanctaidd ei hun, ond y Pentateuch mwyaf yn rhyw le o fewn terfynau y deml a'i phyrth yn unig. Gwel V. 1. VI. 4. X. 4.

rydd-did, ac i obeithio am fuddugoliaeth ar y rhai ydoedd barod i ymladd i'w herbyn mewn trefn i'w hymddifadu o'r fendith honno. Dywedodd eu bod i ystyried eu byddin eu hunain yn lliosog, heb ddiffyg arfau, arian, na lluniaeth, na 'r fath bethau cyfleus arall ag y mae dynion ag sydd yn feddiannol o honynt yn ymladd yn ddewrwych, ac y dylent farnu eu hunain a chanddynt yr holl fanteision hyn yn y dwyfol gynnorthwy. Eu bod hefyd i dybied lluoedd y gelynion yn fychain, yn ddiarfog ac yn weiniaid, a chyfryw ag sydd yn ddiffygiol o'r cyfleusderau hynny, pa rai a wyddant fod y sawl a ewyllysio Duw eu gorchfygu yn fyrr o honynt. Coffaodd iddynt y modd y profasent werth amddiffyniad gan Dduw mewn amryw dreialon, a'r rhai ydoedd fwy arswydus na rhyfel ei hun: canys nid yw hwnnw ond yn unig yn erbyn gwŷr; ond y rhai hyn oedd yn erbyn newyn a syched, pethau ag oedd yn eu natur eu hunain yn anorfod; ac megis hefyd yn erbyn mynyddoedd, a'r môr hwnnw ag oedd heb ddangos iddynt un ffordd o ddiangfa. Etto yr holl anhawsderau hyn a orchfygwyd drwy rasol ddaioni Duw; felly efe a'u cynghorodd i fod yn hyderus yr amser hwn, ac i ystyried eu llwyddiant megis yn ymddibynnu yn gwbl drwy eu buddugoliaeth bresennol ar eu gelynion.

Moses fel hyn wedi cynghori y dyrfa, a alwodd ynghyd dywysogion eu llwythau, a'u gwŷr pennaf, yn wahanol ac yn gydrychiol. Y gwŷr ieuaingc a annogodd i ufuddhau i'w henuriaid, a'r henuriaid i wrando ar eu blaenor; felly y bobl a ymgadarnhasant yn eu meddyliau, ac oeddynt barod i wneuthur prawf o'u medruswydd mewn brwydr, gan obeithio trwy hynny gael o'r diwedd eu gwaredu o'u holl drallodion. Ië, dymunasant i Moses yn ddioed eu harwain yn erbyn eu gelynion, heb yr ymdröad lleiaf, fel na fyddai i un llesgedd eu lluddias yn eu hymröadau presennol; felly Moses a neillduodd y rhai oll oeddynt gymmwys i ryfel, yn amryw luoedd, ac a osododd Joshua mab Nun, o lwyth Ephraim, yn olygwr arnynt; un ag oedd o ddewrder mawr, ac yn amyneddgar i ddioddef llafur; o gymmwysiadau mawr i ddeall, ac i lefaru yr hyn a fyddai berthynasol; ac yn dra ffyddlon yngwasanaeth Duw, ac yn wir wedi ei wneuthur fel Moses arall, yn ddysgawdwr duwioldeb tu ag at Dduw. Efe hefyd a appwyntiodd nifer bychan o wŷr arfog yn agos i'r dwfr, ac i gymmeryd gofal y plant a'r gwragedd, a'r gwersyll yn gyffredinol; felly trwy 'r holl nos honno hwy a ymbarottoisant i'r frwydr; cymmerasant eu harfau gyd â hwynt, cynnifer ag ydoedd â rhai ganddynt, ac a ymddangosasant gyd â'u blaenoriaid, megis yn barod i ruthro ym mlaen i'r frwydr mor gynted ag y llefarai Moses y gair o orchymmyn. Moses hefyd a arosodd yn effro, gan addysgu Joshua pa ffordd a gymmerai i drefnu ei wersyll; ond wedi dechreu o'r dydd, galwodd Moses ar Joshua drachefn, gan ei annog i wroldeb, ac i ymddwyn ei hunan fel un ag oedd a'i glod yn peri i ddynion ddisgwyl pethau mawrion drwyddo, ac i ynnill parch iddo ei hun yn yr ymdrech presennol, ym meddyliau y rhai a ymladdasant dano ef, o herwydd ei orchestion yn y frwydr hon: efe hefyd a roddes annogaeth neillduol i'r pennaethiaid eraill ym mhlith yr Hebreaid, ac a gefnogodd yr holl fyddin fel yr oedd yn sefyll ger ei fron: ac wedi iddo y modd hwn eu hadfywio hwynt, trwy ei eiriau a'i weithredoedd, a gadael pob peth mewn parodrwydd, efe a aeth ymaith i fryn, gan orchymmyn y fyddin i Dduw, ac i ofal Joshua.

Wedi i'r byddinoedd ymgyssylltu mewn brwydr, daethant yn fuan yn agos i'w gilydd, ac i ymladd law-law, a phob ochr yn dangos cywreinrwydd a hyfdra mawr, ac yn rhoi annogaeth i'w gilydd; ac yn wir pan estynai Moses allan ei ddwylaw* tu a'r nefoedd, yr Hebreaid

* Yr amgylchiad hynod yma, sef, pan gynnaliai Moses ei ddwylaw i fynu tu a'r nefoedd, yr Israeliaid a fyddai drechaf; a phan ollyngai hwynt i lawr tu a'r ddaear, yr Amaleciaid a fyddai drechaf; a ymddengys yn siampl fwyaf boreuol sydd gennym o iawn agwedd a arferid gynt mewn gweddi ddifrifol ar Dduw, yr hyn oedd estyn allan y dwylaw, a chodi 'r golygon tu a'r nef, fel y mae mannau eraill o'r hen Destament a'r newydd yn dangos i ni. Ie, ar y ffordd, yr agwedd yma a ymddengys fel wedi parhau yn yr eglwys Gristionogaidd, nes i'r gweinidogion yn lle dysgu eu gweddiau ar dafod, arfer eu darllen o lyfr, yr hyn mewn mesur mawr sydd yn anghysson â'r fath agwedd ddefosiynol, a'r hyn a ymddengys i mi megis wedi myned yn arferiad diweddar yn yr eglwys. Er bod arferiad gwastadol yn cael ei wneuthur o ffurfiau

a fyddent rŷ galed i'r Amaleciaid; ond a Moses yn analluog i gynnal ei ddwylaw fel hyn yn es tynedig (canys mor aml ag y gostyngai ei ddwylaw, cyn amled a hynny yr oedd ei bobl ef yn cael eu trechu) efe a archodd i'w frawd Aaron, a Hur gwr ei chwaer Miriam, i sefyll un ar bob tu iddo, ac i ymaflyd yn ei ddwylaw, a pheidio a gadael i flinder ei luddias, ond iddynt hwy ei gynnorthwyo yn estyniad ei ddwylaw. Wedi gwneuthur hyn, yr Hebreaid a fuddugoliaethasant ar yr Amaleciaid gyd â grymmusder mawr; ac yn wir buasent oll wedi eu lladd, pe na buasai i nesâd y nos wneuthur i'r Hebreaid roddi i fynu ladd yn rhagor. Felly ein hynafiaid a gawsant fuddugoliaeth amserol a thra hynod; canys hwy nid yn unig a orchfygasant y rhai a ymladdent i'w herbyn, ond hefyd a barasant arswyd ar y cenhedloedd cymmydogaethol, a hwy a ynnillasant fanteision mawr iddynt eu hunain oddiwrth eu gelynion, trwy eu llafur blin a chaled yn y frwydr hon; canys wedi cymmeryd gwersyll y gelynion, hwy a gawsant ysglyfaeth mawr i'r cyffredin, i'w teuluoedd neillduol hefyd, pan hyd y pryd hwnnw nid oedd ganddynt amldra o angenrheidiol ymborth. Y fuddugoliaeth ragddywededig ydoedd hefyd yn achos o'u llwyddiant, nid yn unig am yr amser presennol, ond tros oesoedd i ddyfod; canys hwy nid yn unig a gaethiwasant gyrph eu gelynion, ond yn effeithiol a wanhasant eu meddyliau; ac ar ol y frwydr hon hwy a aethant yn ddychryn i'r rhai oll ydoedd o'u hamgylch. Daethant hefyd i feddiannu mesur mawr o gyfoeth; canys llawer o arian ac aur a adawsid yngwersyll y gelynion, ac hefyd llestri o bres, pa rai a wnaethant ddefnydd cyffredin o honynt yn eu teuluoedd; llawer o offerynau cyfrodedd hefyd oedd yno o bob math, hynny yw, o rai a wauwyd, a'r hyn ydoedd yn addurniadau eu harfogaeth, a phethau eraill a wasanaethent o ddefnydd i'w teulu ac yn ddodrefn i'w 'stafelloedd; cymmerasant hefyd yn ysglyfaeth eu hanifeiliaid, a pha beth bynnag oedd o ddefnydd i'w gwersylloedd, pan symmudent o'r naill le i'r llall; felly 'r Hebreaid a ganfyddent werth yn awr yn eu cefnogrwydd, ac a gleimiasant iddynt eu hunain glod oddiwrth ei gwroldeb; a hwy yn wastadol a arferent eu hunain i boen a llafur, wrth yr hyn y cyfrifasant y gellid gorchfygu pob anhawsderau: A hyn oedd effaith y frwydr.

Ar y dydd nesaf Moses a ddiosgodd gyrph meirw eu gelynion, ac a gasglodd ynghyd arfau y rhai a ffoisant, ac a wobrwyodd y cyfryw oedd wedi dangos hynodrwydd yn yr ymdrech; ac a fawr ganmolodd Joshua, eu blaenor, yn gyttun â thystiolaeth yr holl fyddin, ar gyfrif y gweithredoedd mawr a wnaethai; ac ni laddasid un o'r Hebreaid, er bod lladdedigion byddin y gelyn yn aneirif. Felly Moses a offrymmodd aberth o foliant i Dduw, ac a adeiladodd allor, pa un a alwodd—yr Arglwydd y buddugoliaethwr. Efe hefyd a ragfynegodd y llwyr ddifethid yr Amaleciaid, ac na fyddai yn ol hyn i neb o honynt aros yn weddill, o herwydd ymosod o honynt yn erbyn yr Hebreaid pan oeddynt ar daith yn yr anialwch, ac mewn cyflwr o gyfyngder. Ymhellach efe a siriolodd y fyddin â gwledd; ac fel hyn yr ymladdasant y frwydr gyntaf hon, â'r rhai a anturiodd eu gwrthwynebu hwynt, yn ol eu mynediad allan o'r Aipht. Ond wedi i Moses gadw gwyl oblegid y fuddygoliaeth uchod, efe a ganiattaodd i'r Hebreaid orphwys dros ychydig o ddyddiau, ac yna a'u dygodd allan ar ol yr ymladdfa mewn trefn filwraidd; canys yr oedd ganddynt yn awr amryw o filwyr mewn arfogaeth ysgafn; a chan fyned yn raddol ym mlaen, efe a ddaeth i fynydd Sinai ym mhen y tri mis ar ol eu symmudiad o'r Aipht, ar ba fynydd, fel yr adroddasom o'r blaen, y digwyddodd y weledigaeth yn y berth, ac ymddangosiadau rhyfedd eraill.

## PENNOD III.

*Am ddyfodiad Raguel, a'i dderbyniad gan Moses wrth Fynydd Sinai.*

PAN glybu Raguel, tad-ynghyfraith Moses,* am y cyflwr llwyddiannus yr oedd ei amgylchiad

duwiol o weddi, mawl, a diolchgarwch, megis y dengys drwy ymarfer pobl Dduw, Patriarchiaid, Iuddewon, a Christ'nogion yn yr holl oesoedd aethant heibio.

* Exod. xviii. 1.

ynddo, efe a ddaeth yn ewyllysgar i gyfarfod ag ef; a Moses a gymmerodd Zipporah ei wraig, a'i blant, ac a fu dda ganddo ei ddyfodiad; ac wedi iddo offrymmu aberth, efe a wnaeth wledd i'r dyrfa, yn agos i'r berth y gwelodd weledigaeth ynddi; a phob un yn ol eu teuluoedd a gawsant gyfrannogi o'r wledd. Ond Aaron a'i deulu a gymmerasant Raguel, ac a ganasant emynau o fawl i Dduw, megis i'r hwn a fuasai yn awdwr, ac yn drefnwr eu gwaredigaeth a'u rhydd-did. Hwy a ganmolasant hefyd eu harweinydd, megis yr hwn trwy rinwedd pa un y llwyddodd pob peth mor dda gyd â hwynt. Raguel hefyd yn ei araith ddiolchgar wrth Moses, a wnaeth ganmoliaeth mawr i'r holl dyrfa; ac ni allai lai na rhyfeddu Moses am ei wroldeb diysgog, a'r dynoliaeth neu gyd-ymdeimlad a ddangosasai tu ag at waredigaeth ei gyd-genedl.

## PENNOD IV.

*Am Gyngor caredig Raguel i Moses ymherthynas i lywodraethu yr Hebreaid, a'i ddilyniad ef o hono.*

Y DYDD nesaf, Raguel a ganfu Moses yn sefyll ynghanol lliaws o achosion, * canys efe a benderfynai y matterion oedd gan y gwahanol bleidiau a ddeuai atto, gan dybied mai yna yn unig y derbynient gyfiawnder, pan fyddai efe yn farnwr; a'r sawl a fethai yn ei achosion, ni farnent hynny o fawr niweid, tra y tybient eu methu yn gyfiawn, ac nid o bleidgarwch. Ni yngan-odd Raguel ddim am hyn, pa fodd bynnag, y pryd hwnnw, heb ddymuno bod yn rhwystr i'r sawl a ewyllysient wneuthur defnydd o rinweddau eu harweinydd; ond ar ol hynny efe a gymmerodd Moses atto ei hun, ac wedi ei gael o'r neilldu, efe a'i hyfforddiodd yn yr hyn a ddylai wneuthur, ac a'i cynghorodd i adael y llafur o drin yr achosion lleiaf i eraill, ond i ofalu ei hun am y rhai mwyaf, ac am ddiogelwch y bobl; o herwydd fod eraill o'r Hebreaid a allid gael yn gymmwys i benderfynu achosion, ond nad oedd neb ond Moses a allai gymmeryd gofal cynnifer o filoedd. "Na fydd, gan hynny," eb efe, "yn anystyriol o'th rinwedd dy hun, a pha fodd y gwnaethost drwy weini, dan Dduw, gadwraeth i'r bobl. Gâd, gan hynny, benderfyniad achosion cyffredin i eraill; ond cadw dy hun i wasanaethu ar Dduw yn unig, a golyga drefn o ymwared i'r dyrfa o'u presennol gyfyngder. Gwna ddefnydd o'r drefn a grybwyllaf wrthyt ymherthynas i achosion dynol; bwrw dy olwg dros y fyddin, a gosod reolwyr dewisol ar ddegau o filoedd; ac yna ar filoedd; yna gwahana hwynt yn bum' cannoedd; ac yna i gannoedd; yn ol hynny yn ddeg a deugeiniau; a gosod olygwyr ar bob rhai o honynt, y rhai a allant eu gwahaniaethu i ddeg ar hugeiniau, a'u cadw mewn iawn drefn; ac yn ddiweddaf cyfrifer hwynt wrth ugeiniau, a degau: a bydded un llywodraethwr ar bob nifer, wedi eu cyfenwi o'r nifer hynny ag y maent i lywodraethu arnynt; ond y cyfryw ag a fo 'r holl dyrfa yn brofiadol ac yn dderbyniol † o honynt, megis eu bod yn ddynion da a chyfiawn; a bydded fod y llywodraethwyr hyn i rannu yr ymrafael rhwng y naill a'r llall o'r dyrfa; os bydd achos pwysig gan ryw rai, dygent gyfaddefiad o hono o flaen llywodraethwyr o uwch graddau; ac os bydd i unrhyw anhawsdra mawr gyfodi a fo 'n rhy galed i'w farnu ganddynt hwy, yna dygent ef attat ti. Trwy 'r moddion hyn yr ennillir dau o fanteision; bydd i gyfiawnder gael ei wneuthur i'r Hebreaid, a thithau a allu-ogir i wasanaethu yn wastadol ar Dduw, a'i ynnill ef i fod yn fwy trugarog wrth y bobl."

Dyma ydoedd annogaeth Raguel, yr hwn a dderbyniodd Moses yn dra charedig, ac a wnaeth yn gyfattebol i'r hyn a draddodasai: ac ni chuddiodd ddyfais y drefn hon, na 'i chyfrif iddo ei hun, ond a hyspysodd i'r dyrfa pwy ydoedd yr hwn a'i dyfeisiodd; ïe, efe a grybwyllodd enw Raguel yn y llyfrau a 'sgrifenodd, fel y person a ddyfeisiodd drefniad y bobl, gan ei gyfrif yn iawn i ddwyn tystiolaeth dros ddynion teilwng, er y gallasai feddiannu parchedigaeth drwy gyfrif

* Exod. xviii. 13.

† Y drefn yma o ethol barnwyr a swyddogion ym mysg yr Israeliaid drwy dystiolaeth a chydsyniad y bobl cyn eu hordeinio gan Dduw neu Moses, sydd yn haeddiannol o sylw manylaf, o herwydd ei fod yn batrwm cyffelyb ddewisiad o esgobion, henuriaid, a diaconiaid yn yr eglwys Gristionogol. Gwel yn Saes'naeg Constitut. Apost. VIII. 16. 18.

iddo ei hun yr hyn a ddyfeisiwyd gan eraill; oddiwrth yr hyn y gallwn ddeall am dymmer rinweddol Moses; ond am hynny cawn achlysur i lefaru ychwaneg mewn lleoedd eraill.

## PENNOD V.

*Am esgyniad Moses i Fynydd Sinai; ac am y Cyfreithiau Sanctaidd a dderbyniodd gan Dduw, a'u traddodiad i'r Hebreaid.*

YN awr Moses a alwodd y dyrfa ynghyd, ac a ddywedodd ei fod yn myned i fynydd Sinai, i ymddiddan â Duw, i dderbyn ac i ddwyn yn ol gyd ag ef fath o attebfa neu oracl. Ond efe a'u rhybuddiodd i osod eu pabellau gerllaw y mynydd, a dewis y breswylfa a fyddai agosaf at Dduw, yn hytrach na 'r un a fyddai o bell. Wedi iddo ddywedyd hyn, efe a esgynnodd i fynu i fynydd Sinai, yr hwn yw 'r uchaf o'r holl fynyddau * yn y wlad honno, ag sydd nid yn unig yn dra anhawdd ei ddringo gan ddynion, ar gyfrif ei uchder anarferol, ond o herwydd serthedd ei ddibyn. Ië, yn wir, ni ellir craffu arno heb ei fod yn flinder i'r golwg; ac heblaw hyn yr oedd yn ofnadwy ac yn anhygyrch o herwydd y sôn neu ddywediad fod Duw yn trigo yno. Ond yr Hebreaid a symmudasant y pebyll megis y parasai Moses iddynt, ac a gymmerasant feddiant o'r rhannau isaf o'r mynydd; a hwy a dderchafasant yn eu meddyliau, mewn disgwyliad y byddai i Moses ddychwelyd ag addewidion o bethau daionus a ragddangosodd efe iddynt. Felly hwy a wleddasant, ac a ddisgwyliasant am eu harweinydd, gan gadw eu hunain yn bur am dri diwrnod, megis yr ordeiniasai efe o'r blaen. A hwy a weddiasant ar Dduw i wneuthur derbyniad ffafriol o Moses yn ei ymddiddaniad ag ef, a chyfrannu y cyfryw rodd iddynt hwy ag y gallent drwy hynny fyw yn gyssurus. Bywioliaethasant hefyd yn awr yn llawnach nag arferol; ac a wisgasant eu gwragedd a'u plant ag addurniadau mwy harddwych nag o'r blaen.

Dau ddiwrnod a aethant heibio yn y dull yma o wledda; ond ar y trydydd † dydd, cyn codiad haul, cwmmwl a ymdanodd dros holl wersyll yr Hebreaid; y fath un na welsai neb o'r blaen, pa un a amgylchynodd y lle yr oeddynt wedi gwersyllu ynddo. A thra 'r oedd y rhan arall o'r awyr yn glir, fe ddaeth gwynt nerthol a barodd gawodydd trymion o wlaw, yr hyn a gynnyddodd yn dymmestl ddirfawr. Yr ydoedd y fath fellt hefyd ag a barodd ddychryn i'r rhai a'u gwelsant, gyd â tharanau uchel a wnaeth i'r ddaear grynu, a datgan fod Duw yn bresennol yno mewn ffordd raslawn, i'r rhai ag a ddeisyfai Moses iddo fod yn rasol wrthynt. Yn awr, ymherthynas i'r matterion hyn gadawaf i bawb o'm darllenwyr feddwl fel yr ewyllysiont; ond yr wyf fi dan yr angenrheidrwydd o adrodd yr hanes hon megis y mae 'r llyfrau cyssegredig yn ei ddesgrifio. Yr olwg yma, a'r swn dychrynllyd a ddaeth i'w clustiau, a arswydodd yr Hebreaid i raddau tra phell; canys nid oeddynt yn awr y fath a arferent fod. Ac yna'r sôn a aethai allan fod Duw yn mynych ymddangos ar y mynydd hwnnw, a barodd fraw a syndod i'w meddyliau, a hwy a arosasant yn bruddion yn eu pebyll; a chan dybied fod Moses wedi ei ddifetha gan ddwyfol lidiowgrwydd, a disgwyl am yr un distryw iddynt eu hunain.

Tra yr oeddynt dan yr ofnau yma, Moses a ymddangosodd yn siriol ac yn ddyrchafedig. Pan welsant ef hwy a ryddhawyd oddiwrth eu hofnau ac a gynnwysasant obaith mwy cyssurus am bethau i ddyfod. Yr awyr hefyd a ddaethai yn glir ac yn buredig oddiwrth gymmysgedd rhagflaenol, ar ymddangosiad Moses; ar hyn efe a alwodd y bobl ynghyd mewn trefn iddynt wrando yr hyn a lefarai Duw wrthynt. Ac wedi ymgynnull o honynt ynghyd, efe a safodd ar uchelfa, o ba le y gallent oll ei glywed ef, ac

* Gan y dywedir yma mai mynydd Sinai yw 'r uchaf o'r holl fynyddoedd yn y wlad honno, rhaid ei fod yr un hynny a elwir yn awr St. Catherine, yr hwn sydd un rhan o dair yn uwch nag un sydd o fewn milldir iddo, a elwir yn bresennol Sinai, megis y mae Monsieur Thevenot yn hyspysu i ni. Teithiau, Rhan I. pen. xxviii. t. d. 168, 169. Yr enw arall a roddir iddo, Horeb, ni arferir un amser gan Josephus, ac, o bossibl, mai 'r enw oedd iddo ym mhlith yr Aiphtiaid yn unig, o ba le yn ddiweddar y daethai 'r Israeliaid, megis mai Sinai oedd ei enw gan yr Arabiaid, y Canaaneaid, a chenhedlaethau eraill. Yn ganlynol yn 1 Bren. ix. 3. yr Ysgrythyr a ddywed, ddarfod i Elias ddyfod i Horeb, mynydd Duw; Josephus a ddywed, Hynaf. VIII. 13. ei ddyfod i'r mynydd a elwid Sinai; a Jerome, yr hwn a grybwyllir gan Dr. Hudson, a ddywed, ei fod yn ei gymmeryd am ddau enw ar y mynydd, Sinai a Choreb. De Nomin. Heb. t. d. 427. (Edit. Benedict.)

† Exod. xix. 16.

a ddywedodd, "Duw a'm derbyniodd i yn raslawn, O Hebreaid, megis y gwnaeth efe o'r blaen, ac a ddangosodd ffordd ddedwyddol o fywiolíaethu, er eich mwyn chwi, a threfn ddinasaidd o lywodraeth, ac sydd yn awr yn eich gwersyllfa. Yr wyf gan hynny yn gorchymmyn i chwi, er ei fwyn ef, ac er mwyn ei weithredoedd ef, a'r hyn a wnaethom ni trwyddo ef, na osodoch isel bris ar yr hyn ag wyf yn myned i lefaru wrthych, oblegid traddodi y gorchymmynion gennyfi fi; nac o herwydd mai tafod dynol sydd yn eu llefaru wrthych. Ond os oes gennych barch dyledus i bwysfawrogrwydd y pethau eu hun, chwi a ystyriwch fawredd yr hwn, eiddo pa un yw y gosodedigaethau yma, a'r hwn ni ddirmygodd eu traddodi hwynt i ni er ein lles cyffredinol. Canys ni ddylid meddwl mai Moses yn unig yw awdwr y gosodiadau hyn, sef mab Amram a Jochebed, eithr efe yr hwn a wnaeth i'r Nilus redeg yn waed er eich mwyn chwi, ac a ddarostyngodd ddrygioni yr Aiphtiaid drwy amrywiol ffyrdd o farnedigaethau; yr hwn a wnaeth ffordd i ni fyned drwy 'r môr; yr hwn a anfonodd luniaeth i ni o'r nefoedd, pan oeddym mewn cyfyngder drwy 'r diffyg o hono; efe yr hwn a barodd i'r dwfr ffrydio allan o'r graig, pan nad oedd gennym ond ychydig o hono o'r blaen; efe yr hwn drwy ba un y rhoddwyd i Adda gyfrannogi o ffrwythau 'r tir a'r môr; efe yr hwn drwy ba un y diangodd Noah rhag y diluw; efe drwy 'r hwn ein tad Abraham o bererin crwydredig a wnaethpwyd yn etifedd gwlad Canaan; efe trwy ba un yr addurnwyd Jacob â deuddeg o feibion rhinweddol; efe drwy 'r hwn y daeth Joseph i fod yn llywodraethwr galluog dros holl wlad yr Aipht; efe yw 'r hwn sy'n cyfrannu yr hyfforddiadau hyn i chwi trwof fi fel ei ladmerydd. A bydded eich bod chwi yn barchus o honynt, ac yn fwy ymdrechgar drostynt na thros eich gwragedd a'ch plant; canys os chwi a'u dilynwch hwynt, chwi a arweiniwch fywyd dedwydd, chwi a fwynhewch y tir yn ffrwythlon, y môr yn dawel, a ffrwyth y bru yn gyflawn, fel y gofyn naturiaeth; chwi a fyddwch hefyd yn ofnadwy i'ch gelynion: canys myfi a dderbyniwyd i mewn i bresennoldeb Duw; ac a'm gwnaethpwyd yn wrandawr ei lais anllygredig ef; mor fawr yw ei ofal dros lwyddiant eich cenedl chwi!"

Wedi llefaru o hono fel hyn, efe a arweiniodd y bobl, ynghyd â'u gwragedd a'u plant, mor agos i'r mynydd, fel y clywent Dduw yn llefaru wrthynt ynghylch y deddfau yr oeddynt i'w hymarfer; fel na byddai i rym ac awdurdod yr hyn a lefarid gael ei niweidio yn ei draethiad â thafod dyn, pa un ni allai ei gymmwyso ond yn amherffaith at eu dealltwriaeth. A hwy oll a glywsant lais yn llefaru oddi uchod, yn y fath fodd na ddiangodd dim o'r geiriau hynny yn ddisylw rhagddynt, y rhai a ysgrifenodd Moses ar ddwy lech o feini; ac er nad yw gyfreithlon * i ni eu nodi i lawr yn union-gyrch, nyni a osodwn allan eu hystyr.

Y gorchymmyn cyntaf sydd yn dysgu i ni ddeall nad oes ond un Duw, ac y dylem ei addoli ef yn unig. Yr ail sydd yn gorchymmyn i ni na wnelom lun neu ddelw un creadur byw i'w addoli. Y trydydd, na thyngom trwy enw Duw ar un gau-achos. Y pedwerydd, bod yn rhaid i ni gadw y seithfed dydd, trwy orphwys oddi wrth bob math o lafur. Y pummed, fod yn rhaid i ni anrhydeddu ein rhieni. Y chweched, fod yn rhaid i ni ymgadw rhag llofruddiaeth. Y seithfed, na ddylem wneuthur godineb. Yr wythfed, na fyddem euog o ladratta. Y nawfed, na fyddo i ni ddwyn cam-dystiolaeth. Y degfed, na chwennychom ddim a fyddo yn eiddo i eraill. †

Yn awr wedi i'r lliaws glywed Duw ei hun yn datgan y deddfau a lefarasai Moses am danynt, hwy a lawenychasant wrth yr hyn a ddywedwyd; a'r gynnulleidfa a ollyngwyd ymaith. Ond ar y dydd canlynol hwy a ddaethant i'w babell, gan ddymuno arno, heblaw y rhai hyn, ddwyn cyfreithiau eraill iddynt oddiwrth Dduw. Yn ganlynol efe a appwyntiodd iddynt y cyfryw gyfreithiau, ac a hyspysodd yn ol hynny, ym mha ddull y dylent ymfucheddu ar bob achos. Ond bydd i mi adael o'r neilldu y rhan fwyaf o

* Am y tyb ofer-goelus hwn ac eraill o eiddo 'r Phariseaid, yr hwn a gydsyniwyd ag ef gan Josephus, gwel nôd ar II. 12.

† Exod. xx 1—18.

honynt i wneud i fynu waith arall *, a rhoddi amlygrwydd gwahanol yno o honynt.

Wedi i bethau gael eu dwyn i'r amgylchiad yma, Moses a aeth i fynu drachefn i fynydd Sinai, am yr hyn y rhagddywedasai wrthynt ym mlaenllaw. Efe a wnaeth ei esgynfa yn eu golwg hwynt: ond wedi ei fod yn absennol oddi wrthynt dros ddeugain niwrnod, ofn a oddiweddodd yr Hebreaid, rhag digwydd rhyw niweid iddo. Ac nid oedd ddim a'u trallodai gymmaint a'r meddyliau o ddarfod am Moses. Yn awr yr oedd amrywiaethau yn eu dychymmygion am dano: rhai a ddywedent syrthio o hono i blith bwystfilod gwylltion; a'r cyfryw ag ydoedd o'r tŷb hwn, oeddynt gan mwyaf o'r rhai ag oedd yn ddrwg-ewyllyswyr iddo: ond eraill a ddywedasant ymadael o hono o'r byd, a myned at Dduw. Y rhan ddoethaf o honynt a dueddwyd gan eu rheswm i beidio a chynnwys un o'r dychymmygion hyn gyd â dim boddlonrwydd; gan farnu mai peth ydoedd a ddigwyddai weithiau i ddynion i syrthio ym mhlith anifeiliaid gwylltion, a chael eu difetha y ffordd honno; felly yr oedd yn debygol ddigon y gallai ymadael ymaith a myned at Dduw, o blegid ei rinwedd. Ymlonyddu gan hynny a wnaethant, a disgwyl am y canlyniad; er eu bod yn dra gofidus oblegid y tebygolrwydd o iddynt gael eu hymddifadu o'u llywydd a'u hamddiffynydd; y fath un yn wir a'r na adferid ei gyffelyb iddynt drachefn. Ac ni roddai'r amheuaeth hwn gennad iddynt i ddisgwyl un canlyniad cyssurus ynghylch y gwr hwn; ac ni fedrent ragflaenu eu tristwch a'u prudd-der ar yr achos hwn. Pa fodd bynnag, ni allai'r gwersyll ymsymmud trwy'r holl amser yma; am ddarfod i Moses orchymmyn iddynt aros yno.

Wedi i ddeugain niwrnod a chynnifer o nosweithiau fyned heibio, Moses a ddaeth i wared, heb brofi dim oddiwrth luniaeth arferedig a drefnwyd er cynnaliaeth dyn. Ei ymddangosiad a lanwodd y fyddin â gorfoledd; ac efe a draethodd iddynt pa fath ofal oedd gan Dduw drostynt, a thrwy ba ddull o ymarweddiad y gallent fyw yn ddedwydd: dywedodd mai tra fu yn absennol, Duw a amlygodd hefyd† y mynnai efe dabernacl wedi ei adeiladu iddo, i ba un y disgynnai pan ddeuai efe attynt; a'r modd y dygent y babell o amgylch pan ymsymmudent: ac na fyddai mwyach achos i fyned i fynu i fynydd Sinai: ond y deuai efe ei hun i osod ei dabernacl yn eu mysg, ac i fod yn bresennol yn amser eu gweddïau. Megis hefyd y byddai i'r tabernacl neu'r babell fod o'r fath fesur a chyfansoddiad ag a ddangosasai efe iddo; a bod y gwaith i gael ei ddechreu yn ddigyfrwng, a'i ddwyn ym mlaen gyd â diwydrwydd. Wedi llefaru hyn efe a ddangosodd iddynt y ddwy lech, gyd â'r deg gorchymmyn wedi eu hargraphu arnynt; pump o honynt ar bob llech, a'r ysgrifen neu'r argraph ydoedd gan law Duw.

## PENNOD VI.

*Am y Tabernacl a adeiladodd Moses yn yr Anialwch, er anrhydedd i Dduw.*

YN awr yr Israeliaid a lawenychasant wrth yr hyn a welsent ac a glywsent gan eu harweinydd, ac nid oeddynt ddiffygiol yn eu diwydrwydd yn ol eu gallu: ond hwy a ddygasant arian, ac aur, a phres, a'r fath oreu o goed, y cyfryw na heneiddient gan bydrni; blew camelod hefyd, a chrwyn defaid: rhai o honynt wedi eu lliwio yn lâs, ac eraill yn gochion; rhai a ddygasant flodau tu ag at y lliw porphor, ac eraill tu ag at wynn, gyd â gwlan wedi ei liwio â'r blodau rhagddywededig; a lliain main, a meini gwerthfawr; pa rai, y sawl sy'n arfer addurniadau costfawr, a osodant mewn boglynau aur: dygasant hefyd fesur mawr o bêr-lysiau. Canys o'r defnyddiau hyn yr adeiladodd Moses y tabernacl yr hwn ni wahaniaethid oll oddiwrth deml symmudol. Yn awr wedi dwyn y pethau hyn ynghyd gyd â diwydrwydd mawr, (canys pob un ydoedd awyddus i yrru'r gwaith ym mlaen, ïe tu hwnt i'w gallu,) efe a osododd

* Y gwaith arall hwn, a grybwyllir yma am dano gan Josephus, ni ymddengys iddo erioed gael ei gyhoeddi.

† Y mae'n gwestiwn pa un a ddarfu i Josephus yn ei holl ysgrifenadau, adael ar ol grybwyll am erchyll bechod yr Israeliaid yn llunio ac yn addoli y llo aur, neu Apis yr Aipht, a wnaed o goed, ond a orchuddiwyd drosodd ag aur o amgylch, gwel Esay xl. 19. 20. Jer. x. 3. 4. a Hab. ii. 18.

gelfyddwyr ynghylch y gweithiau, a hyn trwy orchymmyn Duw: ac yn wir y cyfryw rai ag a ddewisai y bobl eu hunain, pe rhoisid hynny o'u blaen hwynt. Yn awr eu henwau a osodwyd i lawr yn ysgrifenedig yn y llyfrau sanctaidd, a'r rhai hyn oeddynt, Bazaleel, mab Uri, o lwyth Juda, ŵyr i Miriam, chwaer eu harweinydd; ac Aholiab, mab Ahisamach, o lwyth Dan. Yn awr y bobl a aethant ym mlaen â'r hyn a gymmerasant arnynt gyd â'r cyflymdra mwyaf, fel y bu yn angenrhaid ar Moses eu hattal hwynt trwy wneuthur cyhoeddiad, fod yr hyn a ddygasid at y gwaith yn ddigonol, megis yr hyspysodd y crefftwyr iddo; felly hwy a syrthiasant ar y gwaith o adeiladu'r babell neu'r tabernacl. Moses hefyd a hyspysodd iddynt, yn ol y cyfarwyddyd a gawsai gan Dduw, ymherthynas i'w fesuriad a'i faintioli; a pha nifer o lestri yr oedd i'w gynnwys at arferiad yr offrymmau. Y gwragedd hefyd oeddynt awyddus i wneud eu rhan hwythau ymherthynas i wisgoedd yr offeiriaid, ac ynghylch pethau eraill a fyddai'n eisiau yn y gwaith hwn er ei addurniad, ac i gyflawniad y dwyfol wasanaeth ei hun.

Wedi parottoi yr holl bethau, yr aur, a'r arian, y pres a'r hyn a wauwyd, Moses wedi rhagordeinio gŵyl i gael ei chynnal, ac i offrymmau gael eu haberthu yn ol gallu pob un, a osododd i fynu y tabernacl. Ac wedi mesur o hono y cyntedd agored, yn ddeg cufudd a deugain o led, ac yn gant o hyd, gosododd i fynu golofnau o bres, pum cufydd o uchder; ugain ym mhob un o'r ochrau hwyaf, a deg colofn i'r lled o'r tu ol. Yr ydoedd modrwy hefyd ym mhob un o'r colofnau. Eu cnapiau oeddynt o arian, ond eu bôn neu waelod ydoedd bres. Yr oeddynt yn debyg i flaen cleddyfau, ac o bres: wedi eu sefydlu yn y llawr, cortynnau hefyd a ddodid trwy y modrwyau, ac a glymmid yn eu blaen eithaf wrth hoelion pres o gufydd o hyd; y rhai wrth bob colofn a gurid i'r llawr, ac a gadwai y babell rhag ei hysgwyd gan ruthriadau o wynt. Eithr llèn o liain meinwych a ddodid o gwmpas yr holl golofnau, ag oeddynt yn crogi i lawr mewn dull ddylifol oddiwrth eu cnapiau, ac oedd yn gorchuddio yr holl gyfwng, gan ffurfio math o bared o amgylch. Y cyfryw ydoedd drefniad tri o ochrau yr adeilad hon: ond am y pedwerydd tu neu ochr, ag ydoedd ddeg cufydd a deugain mewn hyd, pa un ydoedd y tu-wyneb i'r cwbl, ugain cufydd o hono oedd i'w agoriad wrth y pyrth, ym mha le y safai dwy golofn ar bob tu, yn ol cyffelybiaeth dorau agoredig; y rhai hyn a wnaed o arian yn gwbl, wedi eu llyfnhâu drosodd, oddi eithr y bôn neu'r gwaelod, pa un ydoedd bres. Yn awr ar bob tu i'r dorau yr oedd yn sefyll dair colofn, y rhai a gynnwysid yngheuedd gwaelodion y pyrth, ac a'u cymhwysid iddynt; ac o'u hamgylch y gwisgid llen o liain main. Ond am y pyrth eu hunain, y rhai ydoedd ugain cufydd mewn ehangder, a phump o uchder; y gauad-len oedd wedi ei chyfansoddi o borphor, yscarled, a glas, a lliain main; a'i gwniad-weithio ag amryw fath o luniau, oddi eithr llun creaduriaid byw. O'r tu fewn i'r pyrth neu'r dorau hyn yr ydoedd y noe bres, er puredigaeth, gyd â chawg oddi tani o'r un defnydd; ym mha un y gallai'r offeiriaid olchi eu dwylaw, a thaenellu eu traed. A hyn oedd cyfansoddiad addurnedig y cauadle o gylch cyntedd y tabernacl, yr hwn oedd yn agored i'r awyr.

Ymherthynas i'r tabernacl ei hun Moses a'i gosododd ynghanol y cyntedd, â'i du-wyneb at y dwyrain; fel pan gyfodai yr haul, y danfonai ei lewyrchiadau cyntaf arno ef. Ei hyd, wedi ei osod i fynu, ydoedd ddeg cufydd ar hugain, a'i led yn ddeg cufydd. Un o'i barwydydd ydoedd at y dehau, a'r llall oedd yn agored i'r gogledd, ac ar y tu cefn iddo y gorweddai y gorllewin. Yr ydoedd yn angenrheidiol fod ei uchder yn gyfattebol i'w led, sef deg o gufyddau. Yr ydoedd hefyd iddo golofnau wedi eu gwneuthur o goed, ugain ar bob tu; yr oeddynt wedi eu gweithio i ddull pedwar-ongl, mewn lled yn gufydd a hanner, ond y trwch ydoedd led pedwar o fysedd. Yr ydoedd arnynt ddalenau teneuon o aur yn gyssylltedig â hwynt ar bob tu, yn du fewnol ac yn allanol: yr oedd hefyd i bob un o honynt ddau dyno arian yn rhedeg i'r gwaelodau, ym mhob un o ba rai yr oedd

mortais i dderbyn y tyno. Ond y colofnau ar y pared gorllewinol oeddynt chwech. Yn awr yr holl denonau a'r morteisiau hyn ydoedd wedi eu cymhwyso yn gywrain y naill i'r llall, yn gymmaint a bod y cyssylltiadau yn anweledig; a'r cyfan a ymddangosodd fel un pared gwastad, wedi ei orchuddio hefyd ag aur oddi fewn ac oddi allan. Y rhifedi o golofnau oeddynt gydradd yn yr ochrau gogyfer a'u gilydd, ac yr ydoedd o honynt ugain ar bob tu; yr oedd trwch pob un yn drydedd ran o rychwant; fel yr oedd y rhifedi o ddeg cufydd ar hugain yn cael ei wneud yn gyflawn i fynu rhyngddynt. Ond am y pared y tu ol, lle'r oedd y chwe' cholofn yn gwneud i fynu yn unig naw cufydd, gwnaethant ddwy o golofnau eraill, ac a'u torrasant allan o un cufydd; y rhai a osodant yn y conglau, ac a'u gwnaethant yn gydradd a'r lleill mewn harddwch. Yn awr, yr oedd i bob un o'r colofnau fodrwyau aur wedi eu sicrhau ar yr wyneb oddi allan, megis pe buasent wedi gwreiddio yn y colofnau, ac oeddynt y naill rês gogyfer a'r llall o amgylch ogylch; trwy y rhai y rhedid trosolion goreuraidd, a phob un o honynt yn bum cufydd o hyd, a'r rhai hyn a gydrwymasant y colofnau; yr ydoedd pen y naill drosol yn rhedeg i'r llall, yn ol dull y naill dyno yn rhedeg i arall. Ond am y pared y tu ol, nid oedd ond un rhês o drosolion ag oedd yn myned trwy yr holl golofnau, i ba rai y rhedai y naill ben o'r trosolion ar bob ochr o'r parwydydd hwyaf; a'r cwbl wedi eu cyssylltu mor sicr ynghyd, fel na ellid siglo y tabernacl gan wyntoedd, neu trwy un moddion arall; ond a ydoedd yn sefyll yn gadarn, yn llonydd, ac yn ddiysgog.

Ymherthynas i'r tu mewn iddo, Moses a rannodd ei hyd yn dri o ddosparthau. Ar y pelldra o ddeg cufydd oddiwrth y pen dirgelaf, efe a osododd bedair colofn, y rhai yr ydoedd eu celfyddwaith yn debyg i eraill, a hwy a safent ar yr un gwadnau a hwynt-hwy; y naill ychydig bellder oddi wrth ei gymmar. Yn awr, yr ystafell o fewn y colofnau hyn ydoedd y lle sancteiddiolaf; ond y rhan arall o'r 'stafell ydoedd y babell ag ydoedd yn agored i'r offeiriaid. Pa fodd bynnag, y cyfattebiad hwn o fesurau y tabernacl a brofodd fel dilyniad o gelfyddyd y byd; canys y trydydd dosparth hwnnw ag oedd o fewn y pedair colofn, i ba un nid oedd mynediad yn rhydd i'r offeiriaid, ydoedd megis pe buasai nefoedd, neillduedig i Dduw ei hun; ond y cyfwng o'r ugain cufydd yw, megis pe bai fôr a thir, ar ba rai y mae dynion yn byw: ac felly y rhan neu 'r ddosparth hon, sydd yn berthynol i'r offeiriaid yn unig. Ar y tu-wyneb lle 'r ydoedd y mynediad i mewn, gosodasant saith o golofnau aur, ac oedd yn sefyll ar wadnau o bres; a thaenasant dros y babell lenni o liain main, a phorphor, ac o liwiau glas a 'sgarled, llawn o wnïadwaith cyfrodedd. Y llen gyntaf ydoedd ddeg cufydd bob ffordd; a hwy a daenwyd dros y colofnau ydoedd yn rhannu 'r deml, ac yn cadw y lle sancteiddiolaf yn guddiedig oddi fewn: a'r llèn yma oedd yr un a wnai y rhan hynny o'r babell yn anweledig i bawb. Yn awr yr holl deml a elwid y lle sanctaidd; ond y rhan honno ag oedd o fewn i'r pedair colofn, ac i ba un ni chai neb ddyfod, a elwid y sanctaidd sancteiddiolaf. Yr oedd y llen yma yn dra addurniadol, a gwnïadwaith o lun pob math o flodau arni; ac yr oedd wedi ei wau i mewn iddi, amrywiaeth o addurniadau, oddigerth llun creaduriaid byw yn unig. Llèn arall, ag ydoedd yn gorchuddio 'r pum colofn wrth y mynediad i mewn, oedd gyffelyb i'r gyntaf mewn ehangder, cyfansoddiad, a lliw; ac wrth gongl pob un o'r colofnau, yr ydoedd modrwy yn ei ddal o'i ben uchaf i lawr, at hanner dyfnder y golofn; a'r hanner arall yn rhoddi mynediad i mewn i'r offeiriaid drwy ymostwng dano. Uwchlaw hyn yr ydoedd llèn o liain o'r un faintioli a'r blaenaf: yr ydoedd i'w dynnu y ffordd hyn neu ffordd arall â chortynau, a'i fodrwyau wedi eu clymmu wrth blethiadau y llèn, ac wrth y cortynau hefyd, oeddynt yn gwasanaethu i blygu neu ddadblygu y llèn, ac i'w sicrhau wrth yr ongl, fel na byddai o ddim rhwystr i olygu y cyssegr, yn enwedig ar uchel-wyliau: ond ei fod ar ddyddiau eraill, ac yn enwedig pan dueddai y tywydd at eira, y gallid ei estyn i fod

yn orchudd i'r llèn o amryw liwiau. Oddi yma y daeth yr arferiad sydd gennym ni, o feddiannu llèn o lïain meinwych, yn ol adeiladu y deml, i'w thynnu dros y ddyfodfa i mewn iddi. Y deg llenni eraill oeddynt bedwar cufydd mewn lled, ac wyth ar hugain o hyd, ac oedd â bwccledi aur iddynt, yn cyssylltu y naill lèn wrth y llall mor gydradd, fel yr ydoedd yn ymddangos yn un llèn hollawl. Y rhai hyn a daenid dros y deml, ac oedd yn gorchuddio ei holl grib, a rhannau 'r parwydydd, ar yr ochrau a'r tu ol, o fewn un cufydd i'r llawr. Yr ydoedd llenni eraill o'r un lled a'r rhai hyn, ond un yn rhagor mewn nifer, ac yn fwy o hyd; canys yr oeddynt hwy yn ddeg cufydd ar hugain o hyd: y rhai a wauwyd o flew, ac a estynnid yn rhydd i wared hyd y llawr, yn ymddangos ar ddull wyneb triongl, yn derchafu dros y pyrth; a'r unfed llèn ar ddeg a ddefnyddid i'r pwrpas yma yn gwbl. Hefyd yr ydoedd llenni eraill wedi eu gwneuthur o grwyn oddi ar y rhai hyn, i orchuddio ac ymddiffyn y rhai gwauedig ar hin wresog a gwlybyrog. A mawr oedd rhyfeddod y rhai a welent y llenni hyn o ryw belldra; canys hwy a ymddangosent heb fod yn amrywio dim oddi wrth liw yr wybr. Ond y rhai a wnaed o flew ac o grwyn, a gyrhaeddent hyd y llawr yn yr un dull a'r llèn wrth y pyrth, y rhai a gadwent ymaith y gwlaw, a gwres yr haul. Yn ol y drefn yma y gosodwyd i fynu y babell.

Yr ydoedd ynddi hefyd arch gyssegredig i Dduw, wedi ei gwneuthur o goed ag oedd yn gadarn, ac yn ddiddarostyngol i lwgr. Ei gwneuthuriad ydoedd fel hyn: ei hyd ydoedd bum rhychwant,* ond ei lled a'i huchder, ydoedd bob un yn dri rhychwant. Yr ydoedd wedi ei gwisgo ag aur oddi fewn ac oddi allan, fel na welid y coed oedd ynddi. Yr oedd iddi gauad hefyd wedi ei gyssylltu â hi, â cholynau aur mewn dull tra rhyfedd; yr hwn gauad oedd ym mhob modd wedi ei gymmwyso iddi, heb ddim rhagoriaeth i luddias ei gydgyssylltiad. Yr ydoedd hefyd ddwy o fodrwyau aur, yn perthynu i bob un o'r byrddau hwyaf, ac yn myned drwodd; a throsolion goreuraidd a redent gyd â bwrdd neu ystyllen; fel y gellid â hynny ei symmud, a'i dwyn o amgylch fel y byddai achos yn gofyn; canys ni lusgid hi mewn mèn a dynnid gan ychen, ond a ddygid ar ysgwyddau yr offeiriaid. Ar ei chauad yr ydoedd dau o luniau a elwid Cerubiaid. Y maent yn greaduriaid hedegog, ond ei ffurf nid yw debyg i neb rhyw greaduriaid daearol a welwyd gan ddyn; er dywedyd o Moses weled o hono y fath fodau yn agos i orseddfainge Duw. Yn yr arch hon fe ddododd y ddwy lech, ar ba rai yr oedd y deg gorchymmyn yn ysgrifennedig; pump ar bob llech, a dau a hanner ar bob tu iddynt: a'r arch hon a osododd efe yn y lle sancteiddiolaf.

Yn y lle sanctaidd efe a osododd fwrdd, cyffelyb i'r rhai hynny yn Delphi. Ei hyd ydoedd ddau gufydd, a'i led yn un cufydd, a'i uchder yn dri rhychwant. Yr oedd iddo draed hefyd, hanner isaf pa rai oeddynt gyflawn, cyffelyb i'r rhai a wna y Doriaid i'w gwelŷau pren; ond y cyrrau uchaf yn agos i'r bwrdd, a wnaed ar ddull pedair-ongl, neu ysgwâr. Yr oedd gwag yn y bwrdd tu ag at bob ochr, a chorbel neu ddellten o drwch pedwar bys o ddyfnder, ag oedd yn myned o'i amgylch megis nydd-dro, ar y rhannau uchaf ac isaf o gorph y gwaith. Ar bob un o'r traed yr oedd modrwy wedi ei chyflëu heb fod ym mhell oddiwrth y caead, drwy y rhai y rhedai trosolion goreuraidd is-law, i'w cymmeryd allan ar achlysur, gyd â gwagle yn y man yr oedd yn gyssylltedig â'r modrwyau, canys nid oeddynt gyflawn fodrwyau, ond cyn cyrhaeddyd o amgylch, yr oeddynt yn terfynu â blaenau llym, ac un wedi ei gyflëu yn y rhan ogwyddedig o'r bwrdd, a'r llall i'w droed, ac â'r rhai hyn y symmudid neu y dygid ymaith pan elent ar daith. Ar y bwrdd hwn, pa un a osodid ar du gogledd y deml, heb fod neppell oddiwrth y lle sancteiddiolaf, y gosodid deuddeg torth o fara croyw, chwech ym mhob pentwr, y naill ar y llall, gwnaed hwynt yn ddwy ddegfed ran o beillied pur, yr hwn fesur † a arfer yr Hebreaid, yn cynnwys saith cotylæ yr Atheniaid. Uwch ben y bara hyn y gosodid dwy o ffiolau yn llawn thus per-aroglaidd. Wedi saith niwrnod, bara

* Y cufydd ydoedd ynghylch un ar hugain o fodfeddau, a'r rhychwant yn hanner cufydd.

† Omer.



The High Priest in his most sacred Robes.
with the Red Cow for the Burnt Sacrifice.

High Priest, with the Goat for the
Burnt Sacrifice.

eraill a osodid yn eu lle, ar ddydd a alwn ni y sabbath; ond am yr achos o'r ddyfais hon o osod y torthau yno, ni gawn lefaru mewn lle arall.

Gyferbyn a'r bwrdd hwn, yn agos i'r pared deheuol, y gosodid canwyllbren o aur, yn wag oddifewn, ac yn un cant o bwysau, yr hwn a eilw 'r Hebreaid cinchares, yr hyn os dychwelir i'r iaith Roeg a arwydda talent. Gwnaed ef â chnapiau, liliaid, a phomgranadau, a phiolau; yr addurniadau hyn a gyfrifid oll yn ddeg a thrugain. Trwy 'r moddau hyn y biccell a ymddyrchafai oddiwrth y gwaelod, a oedd yn gwahanu i gynnifer o ganghennau, ag sydd o blanedau; gan gyfrif yr haul yn eu mysg. Efe a ddiweddid â saith llaw mewn un rhes, y cwbl yn sefyll yn gydradd y naill i'r llall; ac yr oedd y ceingciau hyn yn dwyn gyd â hwynt saith o lampau, un ag un, mewn cyffelybiaeth i nifer y planedau: yr oedd y lampau hyn yn edrych i'r dwyrain ac i'r dehau, ac ar ogwydd y safai y canwyllbren.

Rhwng y canwyllbren a'r bwrdd, y rhai fel y dywedasom oedd o fewn i'r cyssegr, yr ydoedd allor yr arogldarth wedi ei wneuthur yn wir o goed, ond o rai dilwgr, ac wedi eu gwisgo drosodd â dalennau aur. Ei led ar bob tu ydoedd un cufydd, ond ei uchder yn ddwbl. Arno yr ydoedd grât o aur, uwchlaw yr allor, ar ba un yr ydoedd coron o aur yn ei gwmpasu o amgylch, i'r rhai y perthynai modrwyau a barrau neu drosolion, wrth y rhai y dygid hi o amgylch gan yr offeiriaid pan ymdeithient. O flaen y tabernacl hwn y gosodid i fynu allor bres, ond yr ydoedd oddi fewn wedi ei gweithio â choed; pum cufydd wrth fesur ar bob tu, ond ei uchder ydoedd dri yn unig, wedi ei addurno yn yr un modd â dalennau o bres mor ddisglaer ag aur. Yr ydoedd iddo hefyd aelwyd bres o rwydwaith; canys y llawr oddi tanodd a dderbyniai y tân o'r aelwyd, o herwydd nad oedd waelod arall i'w dderbyn. Yn agos i'r allor y gosodid y cawgiau, y ffiolau, y thuserau, a'r peiriau, i gyd o aur; ond y llestri eraill a wnaed at arferiad yr aberthau, oeddynt i gyd o bres. A'r fath yma ydoedd cyfansoddiad y tabernacl, a'r llestri perthynol iddo.

## PENNOD VII.

*Am y gwisgoedd Offeiriadol.*

Y R ydoedd gwisgoedd neillduol wedi eu trefnu i'r offeiriaid, ac i eraill, pa wisgoedd a alwent cahanææ, neu wisgoedd offeiriadol, megis hefyd i'r arch-offeiriaid, y rhai a alwent cahanææ rabæ, ac yn arwyddo, gwisg yr archoffeiriad. Y cyfryw gan hynny ydoedd gwisgoedd y rhai eraill: ond pan neshao'r offeiriad at yr aberthau, y mae 'n ei buro ei hun, â'r puredigaeth a ofynnir gan y gyfraith. Ac yn y lle cyntaf y mae 'n ymwisgo â'r un a elwir machanase, yr hyn sy'n arwyddo rhyw beth wedi ei glymmu yn dynn. Gwregys ydyw wedi ei wneuthur o lïain main cyfrodedd, drwy ba un y dodir y traed, fel math o lodrau; ond mwy na'i hanner a dorrir ymaith, ac mae'n diweddu wrth y morddwydydd pan wasger yn dynn.

Tros hwn efe a wisgai ddilledyn wedi ei wneuthur o feinllin deublyg, ac a elwid chethone, canys yr ydym yn galw llïain wrth yr enw chethone. Y wisg hon a gyrraedd hyd y traed, pa un sy'n gorwedd yn agos at y corph, ac sydd â llewis iddi a glymmir yn dynn wrth y breichiau; y mae wedi ei wregysu wrth y ddwyfron, ychydig yn uwch na 'r elinau, â gwregys a elai yn fynych o amgylch o led pedwar bys; ond wedi ei wau mor llac fel yr oedd yn tebygu i groen neidr. Y mae o wnïadwaith blodeuog, o liw ysgarled, porphor a glas, a llïain main cyfrodedd, ond y ddylif nid yw o ddim ond lliain meinwych. Dechreu ei gylch-rediad sydd wrth y ddwyfron, ac wedi ei droi amryw weithiau o amgylch, a glymmir yno, ag sy 'n hongian yn rhydd i lawr hyd y migyrnau. Fy meddwl yw hyn, yr holl amser nad yw 'r offeiriad ynghylch gwasanaeth llafurus; canys yn yr agwedd yma mae 'n ymddangos mewn dull tra dymunol i'r edrychwyr; ond pan y mae efe yn rhwymedig i gynnorthwyo yn offrymiad yr aberthau, ac i gyflawni y gwasanaeth gosodedig, fel na rwystrer ef yn ei orchwylion wrth ei symmudiad, efe a'i tafl i'r ochr chwith, gan ei gynnal ar ei ysgwydd. Moses a eilw y gwregys hwn abaneth; ond nyni a ddysgasom oddiwrth y

Babiloniaid i'w alw, emia. Nid oes i'r wisg hon un rhan rydd neu wag ynddi, ond agoriad cul ynghylch y gwddf: ac mae wedi ei chlymmu â llinynnau, ac yn hongian i lawr o'r ymmyl dros y ddwyfron a thros y cefn; ac a glymmir uwchlaw pob ysgwydd. Gelwir hon massa bazanes.

Ar ei ben efe a wisgai gappan heb fod o ddull blaenfain, ac nid yw yn cynnwys y r holl ben; ond etto yn cynnwys rhagor na'i hanner. Gelwir ef masnaemphthes, neu meitr; ond ei wneuthuriad ydyw y fath ag sy'n ymddangos megis coron. Gwneir hi ag ysnodenau trwchus, ond ei chydwëad sydd o liain, ac wedi ei ddyblu lawer o weithiau o amgylch, a'i gydwnio; heblaw hyn, dernyn o liain main a orchuddia yr holl gappan o'i gwrr uchaf, ac sy'n ymestyn i lawr hyd y talcen; y mae'n cuddio gwrym y snodenau, y rhai yn amgen a edrychent yn anhardd; a'r rhai hyn a orweddant yn agos ar y rhan gyfan-gwbl o'r pen, fel na lithro yn ol yn amser y gwasanaeth dwyfol ynghylch yr aberthau. Y dull hyn ydoedd gwisgoedd y cyffredinolrwydd o'r offeiriaid.

Yr archoffeiriad a addurnir â'r un gwisgoedd ag a grybwyllwyd eisioes; eithr dros y rhai hyn y mae'n dodi gwisg o las; y wisg yma hefyd sydd o hyd mawr yn cyrraedd at ei draed. Yn ein iaith ni gelwir hi—meeir, ac a glymmir o amgylch, â gwregys o wnïadwaith ac o'r un lliw, gyd â blodau megis y cyntaf, wedi ei gyd wau â chymmysg o aur: wrth y godre y gosodir rhidens i hongian, o gyffelyb liw a phomgranadau, gyd â chlychau aur* o ddyfais gywrain a chelfyddgar; fel rhwng dwy gloch y gosodid pomgranad, a rhwng pob dwy bomgranad y gosodir un o'r clychau. Yn awr ni chyfansoddid y wisg hon o ddwy o rannau, ac ni wniasid ynghyd ar yr ysgwyddau a'r ochrau, ond gwisg gyfan a llaes ydoedd, wedi ei gwau felly fel ag yr oedd agoriad yn ei chwrr uchaf i'r gwddf; nid yn ŵyrdraws, ond wedi ei rhannu oll ynghylch y ddwyfron a'r cefn; yr oedd ymyl-waith hefyd wedi ei wnio wrthi, rhag edrych o'r agoriad yn annrhefnus, yr ydoedd hefyd wedi ei rhannu lle'r oedd y ddwylaw i ddyfod allan.

Heblaw y rhai hyn, yr archoffeiriad a ymwisgai â thrydydd wisg, a elwid yr ephod, cyffelyb i epomis y Groegiaid. Yr ydoedd wedi ei gwau i ddyfnder cufydd, o amryw liwiau, gyd ag aur yn gymmysg a gwnïadwaith: ond hanner y ddwyfron a adewid heb ei gorchuddio; yr ydoedd llewis iddi hefyd, ag oedd yn ei gwneuthur i ymddangos megis cochl ferr; ond yngwagle y wisg hon y dodid dernyn o rychwant o faintioli, ac o wnïadwaith aur, ac o liwiau eraill yr ephod; gelwir hon essen neu'r ddwyfronneg, yr hyn yn yr iaith Roeg a arwydda yr oracl neu attebfa. Y dernyn yma a lanwai i fynu y gwagle yn yr ephod, ac a gyssylltid ag ef â modrwyau aur ar bob congl; ac ysnoden las a ddefnyddid i'w cylymmu ynghyd wrth y modrwyau hynny; ac fel nad ymddangosai y rhan gyfryngol yn wag, dyfeisiasant ei lenwi i fynu â gwnïadau ysnodenau gleision. Yr oedd hefyd ddau sardonyx yn yr ephod, ar yr ysgwyddau, fel math o fottymau i'w cyd rwymo, a phob pen yn rhedeg i'r ddau sardonyx o aur, fel y gellid eu bottymu â hwynt. Ar y meini hyn yr argraphid enwau meibion Jacob, mewn llythyrennau Hebraeg, chwech ym mhob un o'r meini ar bob ochr; enwau yr hynaf feibion oedd ar yr ysgwydd ddehau: deuddeg maen ydoedd hefyd ar y ddwyfronneg, o faintioli a harddwch mawr; addurniadau oeddynt na phwrcasid gan y cyffredin, oblegid eu gwerthfawrogrwydd aneirif. Y meini hyn pa fodd bynnag a safent yn dair rhes, pedair ym mhob rhes, wedi eu gosod mewn boglynnau aur, a'u dodi yn y ddwyfronneg, mewn modd na ddeuent allan. Y tri meini cyntaf ydoedd, y sardonyx, y topaz, a'r emerald; yr ail rês oedd yn cynnwys

* Defnydd y clychau aur wrth odre gwisg laes yr arch-offeiriad, a ymddengys ei fod yn hyn; megis wrth ysgwyd ei wisg ar amser offrymmu yr arogl-darth yn y deml, ar ddydd mawr y cymmod, neu ar amser priodol arall o'i weinidogaethau cyssegredig ar yr uchel-wyliau, y cymmerai'r bobl sulw o hono; a chwympo at eu gweddiau eu hunain yn amser yr arogl-darthiad, a phrydiau priodol eraill: ac felly bod i'r holl gynnulleidfa ar unwaith offrymmu y gweddiau cyffredin ynghyd â'r archoffeiriad i'r Hollalluog. Gwel Luc i. 10. Ac ysgatfydd nid yw y tad Sirach i'w ddeall mewn modd arall, pan y mae 'n dywedyd am Aaron, yr archoffeiriad cyntaf, Ecclus. xlv. 9. Duw a gylchynodd Aaron â phomgranadau, ac â chlych aur lawer o amgylch, i seinio pan gerddai efe, i wneuthur sŵn a glywid yn y deml, ac i fod yn goffadwriaeth i feibion ei bobl ef.

carbuncl, jasper, a sapphir; y cyntaf o'r drydedd rês ydoedd ligure, yna amethyst, a'r trydydd agate, yr hyn oedd y nawfed o'r holl nifer; y cyntaf o'r bedwaredd rês ydoedd chrysolyte, y nesaf oedd onyx, ac yna y beryl, yr hwn oedd y diweddaf oll. Yn awr enwau yr holl rai hynny o feibion Jacob a argraphid ar y meini hyn, y rhai a gyfrifwn yn bennau ein cenedl ni; pob maen a anrhydeddid ag un o'r enwau arno, yn ol trefn eu genedigaeth hwynt: a phan yr oedd y modrwyau yn rhy weiniaid eu hunain i gynnal pwysau y meini, gwnaethant ddwy fodrwy arall o fwy maintioli, ar fin y rhan hynny o'r ddwyfronneg oedd yn cyrraedd hyd y gwddf, ac wedi ei rhoddi i mewn i eithaf gwëad y ddwyfronneg, i dderbyn y cadwynau o waith llyfn, ag oedd yn eu cydio â rhwymynau aur wrth ben uchaf yr ysgwyddau, blaenau pa rai a dröent yn ol, ac a redent i'r fodrwy ar y tu ol gogwyddedig o'r ephod; a hyn ydoedd er diogelwch y ddwyfronneg, fel na syrthiai o'r lle gosodedig iddi; yr ydoedd hefyd wregys wedi ei wnïo wrth y ddwyfronneg, o'r lliwiau rhag-grybwylledig, yn gymmysgedig o aur; pa un wedi ei fyned unwaith o amgylch, a glymmid drachefn ar y gwrym, ac a adawid i hongian i lawr: yr ydoedd hefyd garreiau euraidd, ag oedd yn gollwng i mewn y rhidens wrth flaen y gwregys ac yn eu cynnwys yn gwbl.

Y meitr neu gappan coronog yr archoffeiriad, ydoedd yr un a'r hwn a ddesgrifiasom o'r blaen, ac a weithid yn gyffelyb i'r rhai o eiddo'r offeiriaid eraill: uwchlaw yr hwn yr ydoedd un arall, a phunennau gleision o wnïadwaith; ac o'i chwmpas yr oedd coron euraidd o dair rhes, y naill uwchlaw y llall: allan o ba rai yr ymddangosai cwppan aur, tebyg i lysieuyn a alwn ni saccharus, ond y Groegiaid sydd ddeallus mewn planhigion a'i galwant hyoscyamus. Yn awr rhag bod rhyw un a welodd y llysieuyn hwn, ac heb ddeall ei enw, a bod yn anadnabyddus o'i natur; neu er deall ei enw, fod heb adnabod y llysieuyn pan welo ef, bydd i mi roddi desgrifiad o hono. Y llysieuyn hwn sydd yn fynych uwchlaw tri rhychwant mewn uchder: ei wraidd sydd debyg i wraidd maip, neu erfin; ond ei ddail sydd gyffelyb i ddail mint: ei ganghennau sydd yn dwyn calyx, yn ymwasgu â'r gaingc, a math o wisg yn ei amgylchu, yr hon y mae yn naturiol yn ei bwrw ymaith yn nhymmor ei gyfnewidiad, i'r diben o roddi ei ffrwythau: y calyx yma sydd o faintioli bys bach gwr; ond ynghwmpas ei agoriad y mae'n debyg i gwppan. I wneud hyn yn eglurach: bwriwch fod cylch-grwn *(sphere)* wedi ei wahanu yn ddwy ran, a chrwn yn ei waelod, ond bod dernyn arall o hono, ag sy'n tyfu i fynu yn gwmpasog o'r gwaelod hwnnw; bwrier ei ddyfod yn raddol yn gulach, a bod gwagle y rhan hynny yn tyfu yn llai, ac yna yn raddol yn tyfu yn llettach drachefn tu a'r ymyl; y fath ag a welwn ym mogail y pomgranad, gyd â'i rygynau. Ac yn wir y fath wisg a dyf dros y planhigyn hwn ag sydd megis hannergylch wybrennol iddo, a hynny, fel y gall un ddywedyd, wedi ei gylchdroi yn gywrain mewn dellten, a'i rygynau i'w gael uwchlaw iddo; yr hwn, megis y dywedais sy'n tyfu yn debyg i bomgranad, yn unig eu bod hwy yn llym, ac â phigau tebyg i ddrain neu eithin. Cedwir y ffrwyth â'r wisg yma o calyx, yr hwn ffrwyth sydd debyg i had y llysieuyn sideritis; y mae'n gwasgaru allan flodau, ag sy'n tebygoli i'r llysieuyn a elwir pabi. O'r pethau uchod y gwnaed coron a gyrhaeddai cyn belled ag oddiwrth y rhan ol o'r pen at bob un o'r arleisiau; ond yr ephielis yma, canys felly y gellir galw y calyx hwn, nid ydoedd yn cuddio y talcen, ond a orchuddiwyd â dalen aur, * yr hon yr oedd yn argraphedig arni enw Duw, mewn llythyrennau cyssegredig; a'r cyfryw ydoedd addurniadau yr archoffeiriad.

Ond yma y gall un ryfeddu wrth y drwg ewyllys sydd gan ddynion i ni, a'r hwn y maent yn proffesu ei fod ar gyfrif ein bod yn dirmygu y Duw ag y maent hwy yn cymmeryd arnynt ei anrhydeddu: canys os bydd i neb ond ystyried

* Dylai'r darllenydd gymmeryd sulw, fod y ddalen aur o ordeiniad Moses, i'w gwisgo ar dalcen yr archoffeiriad Iuddewig, wedi ei chadw nid yn unig hyd ddyddiau Josephus, ond Origen; a bod ei hargraph, "sancteiddrwydd i'r Arglwydd," mewn llythyrennau Samaritanaidd. Gwel Hynaf. VIII. 3. a Reland, De Spol. Templi. t. 132, 133.

adeiladaeth y tabernacl, a chymmeryd golwg ar wisgoedd yr archoffeiriad, ac o'r llestri yr ydym yn gwneuthur defnydd o honynt, yn ein cyssegredig wasanaeth, efe a gydnebydd mai dyn dwyfol oedd ein deddfwr ni, a'n bod yn cael ein gwaradwyddo yn anghyfiawn gan eraill: canys os bydd i neb yn ddiragfarn ac yn ddeallus sylwi ar y pethau hyn, efe a genfydd wneuthur pob un o honynt fel pattrwm a dangosiad y greadigaeth; canys pan neillduodd Moses y tabernacl yn dair rhan, * a threfnu dwy o honynt i'r offeiriaid, fel lle o fynediad cyffredin iddo, hyn oedd yn nodi tir a môr, canys y rhai hyn ydynt rydd i bawb; ond pan neillduodd y drydedd ran i Dduw, hynny ydoedd am fod y nef yn lle annhramwyol iddi gan ddynion. Pan ordeiniodd ddeuddeg torth o fara i gael eu gosod ar y bwrdd, yr oedd yn nodi y flwyddyn ag sydd wedi ei rhannu yn gynnifer o fisoedd. Pan wnaeth efe y canwyllbren o ddeg a thrugain o rannau, yr oedd yn dirgel arwyddo y Decani,† neu ddeg a thrugain rannau y planedau; ac am y saith o lampau yn y canwyllbren, yr oeddynt yn cyfeirio at rediad y planedau, o ba rai dyna yw y rhifedi; ac am y llenni, y rhai a gyfansoddid o bedwar math o ddefnydd, yr oedd yn cysgodi y pedair elfennau; canys y lliain main oedd yn arwyddo y ddaear, o herwydd fod y llin yn tyfu o honi; y porphor oedd yn arwyddo y môr, o herwydd fod y lliw hwnnw yn cael ei wneuthur o waed cregin-bysg; y lliw glas ydoedd gymmwys i ddynodi yr awyr; a'r ysgarled yn naturiol a arwydda dân. Yn awr fel yr oedd gwisg yr archoffeiriad wedi ei gwneuthur o liain, yr oedd yn arwyddo 'r ddaear; y glas yn dynodi yr awyr; yr ydoedd ei bomgranadau megis mellt, a swn y clychau yn gyffelybrwydd taranau; a'r ephod oedd yn dangos wneuthur o Dduw y bydoedd o'r pedwar elfennau; ac am yr aur a gyd-wauwyd, yr wyf yn meddwl ei fod yn perthynu i'r disgleirdeb â'r hwn y llewyrchir pob peth. Efe hefyd a drefnodd y ddwyfronneg i'w gosod ynghanol yr ephod, i gysgodi y ddaear, canys dyna yw canol-le y byd; a'r gwregys oedd yn amgylchynu yr archoffeiriad o'r ddeutu, oedd yn arwyddoccau 'r cefnfor, yr hwn sydd yn myned o amgylch-ogylch, ac yn cynnwys y greadigaeth. Y ddau sardonyx a arwyddant i ni yr haul a'r lleuad; y rhai hynny wyf yn ei feddwl oedd o lun bottymau ar ysgwyddau yr archoffeiriad. Ac am y deuddeg o feini, pa un ai a ddeallom wrthynt fisoedd y flwyddyn, neu 'r unrhyw rifedi o arwyddion yn y cylch wybrennol a elwir gan y Groegiaid Zodiac, ni cham-gymmerwn yn eu hystyr. Y meitr, yr hwn ydoedd o liw glas, a ymddengys i mi megis yn arwyddo 'r nefoedd, canys pa fodd yn amgen y gallasai enw Duw gael ei ysgrifennu arno? Addurnid ef hefyd â choron aur, o herwydd y disgleirdeb drwy ba un y boddhaer Duw. Bydded i'r eglurhad ‡ yma wasanaethu yn bresennol, gan y bydd i rediad fy hanes, ar amryw achosion, ganiattau im' gyfleusdra i helaethu ar rinwedd ein deddfwr.

## PENNOD VIII.

### *Am Offeiriadaeth Aaron.*

WEDI dwyn o amgylch a gorphen y pethau a ddarluniwyd, doniau oeddynt etto heb eu cyfrannu; o ba herwydd Duw a ymddangosodd i Moses, ac a archodd iddo roddi yr archoffeiriad-

* Pan y mae Josephus yma, ac yn pen. 6, yn golygu 'r tabernacl megis wedi ei wahaniaethu yn dair rhan, mae 'n ymddangos fel yn golygu y ddyfodfa noeth i mewn yn drydedd ran, gwahanol oddiwrth y lle sanctaidd sancteiddiolaf; a hyn yn hytrach, o herwydd fod yn ol hynny yn y deml, drydedd le gwahaniaethol, yr hwn a elwid y porth. Pe amgen fe wrthwynebasai Josephus ei ddarluniad ei hun o'r tabernacl, pa un nid yw 'n rhoddi i ni hanes neillduol ond yn unig am ddwy ran.

† Y Decani yma, neu seithwaith ddeg rannau am y planedau, a ddarluuir gan Julius Firmicus Maturnus, at waith pa un y cyfeirir y darllenydd deallus.

‡ Yr eglurhad yma o ystyr dirgelaidd y tabernacl, a'i ddodrefn, gyd â gwisgoedd yr archoffeiriad, a gymmerwyd allan o Philo, addas i ddychymmygion cenedl-ddyn philosophyddaidd. Dichon hyn gael ei faddeu i Iuddewon cyfarwydd yn nysgeidiaeth a philosophyddiaeth y cenhedloedd, megis yr oedd Philo o'r dechreuad, ac megis y buasai Josephus er's hir amser, pan ysgrifennodd yr hynafiaethau hyn. Yn y cyfamser ni ellir amman na chawsant, yn eu dygiad i fynu mewn dysgiaeth, eu harfer i ddeongliadau mwy Iuddewig; fy meddwl yw, y fath ag a gyfarfyddwn yn epistol Barnabas, yn yr un hynny at yr Hebreaid, ac mewn mannau eraill gan yr hen Iuddewon. Yn gannlynol, pan ysgrifennodd Josephus ei lyfr am y Rhyfel Iuddewig, i wasanaeth ei gyd-genedl, pa amser nid oedd ond ieuangc mewn cydmariaeth, ac wedi ymarferyd llai â llyfrau cenhedlig, yr ydym yn cael un prawf o'r fath ddeongliad Iuddewig; canys yno, pen VII. 5. y mae efe yn cyfrif saith ganghennau canwyllbren y deml. gyd â'i saith lampau, megis cysgod o saith niwrnod y greadigaeth, a'r orphwysfa, y rhai a grybwyllir yma yn gysgod o'r saith blanedau: ac ni ddylid deongl cysgodau hynafol o eiddo'r Iuddewon un ffordd amgen ond trwy ddeongliad Iuddewig ac nid cenhedlig. Gwel Hanes y Rhyf. I. 33.

aeth i Aaron* ei frawd, megis i'r hwn ag oedd oreu yn haeddu mwynhau yr anrhydedd hynny, oblegid ei rinwedd. Ac wedi iddo gynnull y dyrfa ynghyd, efe a roddes hysbysrwydd iddynt am rinwedd Aaron, ac o'i ewyllys da iddynt, ac o'r peryglon yr oedd efe wedi myned trwyddynt er eu mwyn. Ar hyn, wedi dwyn tystiolaeth iddo o'u cydsyniad ym mhob modd, a dangos eu parodrwydd i'w dderbyn, Moses a ddywedodd wrthynt, "O chwychwi Israeliaid, y gwaith hwn a ddygwyd eisoes i ddiweddiad, mewn modd tra boddlongar gan Dduw, a chyfattebol i'n gallu ninnau: ac yn awr wedi gweled o honoch ei dderbyn ef i'r tabernacl hwn, nyni a fyddwn, yn y lle cyntaf, yn sefyll mewn diffyg o un i weinidogaethu yn ein lle ymherthynas i'r aberthau, a'r gweddiau a osodir i fynu drosom. Ac yn wir pe byddai 'r ymholiad am y fath un yn cael ei adael arnaf fi, tybiaswn fy hun yn ddedwydd o fwynhau y swydd hon, yn gystal o herwydd y serchowgrwydd sydd gan bob dyn atto ei hun, ac oblegid fy mod yn gydwybodol im 'fy hun gymmeryd o honof boen lawer er eich gwaredigaeth chwi: Ond yn awr Duw ei hun a benderfynodd wneuthur Aaron yn deilwng o'r anrhydedd hwn, a'i ddewis ef i fod yn offeiriad iddo, gan ei gyfrif yn un o'r dynion cyfiawnaf yn eich mysg. Felly y mae efe i ddodi am dano y gwisgoedd cyssegredig i Dduw; efe sydd i gymmeryd gofal yr allorau, ac i wneuthur arlwy i'r aberthau; ac efe yw 'r hwn ag sydd raid iddo wneuthur erfyniadau trosoch at Dduw, yr hwn yn barod a'u gwrendy hwynt, nid yn unig o herwydd ei fod ef ei hun yn gofalu dros eich cenedl, ond hefyd oblegid y byddant yn dderbyniol megis wedi eu hoffrymmu gan un a ddewisodd efe i'r swydd yma." Yr Hebreaid† a fu boddlon i'r hyn a ddywedwyd, ac a roddasant eu cydsyniad i dderbyn yr hwn a ordeiniasai Duw iddynt; canys Aaron ydoedd un mwyaf haeddiannol o'r anrhydedd yma, ar gyfrif ei ddawn brophwydoliaethol, a rhagorol rinwedd ei frawd. Yr ydoedd iddo y pryd hwnnw bedwar o feibion; Nadab, Abihu, Eleazar, ac Ithamar. Yn awr, Moses a orchymmynodd iddynt ddefnyddio yr holl offerynnau, pa rai oeddynt fwy nag angenrheidiol at wneuthuriad y tabernacl, i fod yn orchudd neu gysgod iddo; y canwyllbren, ac allor y poeth-offrwm, a'r dodrefn eraill, fel na amharid hwy oll pan symmudent gan gawodydd o wlaw, neu gyfodiad llwch ar hyd y ffordd. Ac wedi casglu ynghyd y lliaws drachefn, efe a ordeiniodd iddynt offrymmu hanner sicl dros bob un, megis offrwm i Dduw, yr hwn sicl sydd ddarn o arian Hebreaidd, ac sydd gydradd a phedwar drachm yr Atheniaid;‡ ar hyn yr oeddynt yn barod i ufuddhau i'r peth a orchymmynwyd gan Moses, a nifer yr offrymwyr ydoedd chwe' chant a phump o filoedd, pum cant, a deg a deugain. Yn awr, yr arian yma ag a ddygwyd gan wŷr rhyddion, a roddid gan rai ag ydoedd uwchlaw ugain, eithr tan ddeg a deugain o oedran; a'r hyn a gasglwyd a ddefnyddiwyd at wasanaeth y tabernacl.

Moses yn awr a gymmerodd yn llaw buro'r tabernacl a'r offeiriaid, yr hwn buredigaeth a gwblhawyd yn y dull canlynol: Efe a orchymmynodd iddynt gymmeryd pum can' sicl o fyrr; maintioli cydradd o cassia, a hanner y pwysau uchod o cinnamon, a math o ber-lysiau a elwid calamus; eu curo hwynt yn fân a'u gwlychu â hin§ o olew; yna eu cymmysgu ynghyd a'u berwi, a'u parottoi yn ol celfyddyd yr apothecari, a'u gwneuthur yn ennaint peraidd; ac yn ol hynny cymmeryd o hono i enneinio a phuro 'r offeiriaid eu hunain,

* Exod. xxviii. 1.

† Mae'n werth sylwi, mai'r ddau brif gymhwysder a ofynnir yma er sefydliad yr archoffeiriad cyntaf ydoedd, ei fod yn un o ymarweddiad rhinweddol a chanmoladwy, ac yn dderbyniol gan y bobl, yr hyn a nodir yma gan Josephus, hyd yn oed pan fyddai ei appwyntiad oddiwrth Dduw ei hun; y rhai ydynt y cyffelyb gymmwysderau ag y mae'r grefydd Gristionogol yn ei ofyn wrth wneuthur dewisiad o esgobion, offeiriaid, a diaconiaid, fel y mae'r gosodiadau apostolaidd yn hyspysu i ni, II. 3. VIII. 4. Ac nid yw anheilwng o'n sulw, y modd yr oedd yn angenrheidiol i'r llywodraethwr fod yn un o eirda rhagorol, yn un â'r rheolau apostolaidd ar yr achos yma. VIII. 6.

‡ Y pwysau hyn, a gwerth y sicl Iuddewig, yn nyddiau Josephus, cydraddol a 2s. a 10c. o arian Brutanaidd, a addefir gan yr Iuddewon dysgedig ei fod un ran o bump yn fwy na'u hen siclau, yr hwn benderfyniad sy'n cyttuno yn berffaith â'r gweddill siclau, sydd ag argraph Samaritanaidd arnynt, a fathwyd fwyaf gan Simon y Maccabead, ynghylch 230 o flynyddau cyn cyhoeddi o Josephus ei Hynafiaethau, y rhai nid ydynt un amser yn pwyso ychwaneg na 2s. 4c. a dimmeu, ac yn gyffredin ond 2s. a 4c. a ffyrling. Gwel Reland De Nummis Samaritanorum, t. d. 188.

§ Yr hin yma sydd fesur Hebreaidd, ac yn cynnwys dau choas neu conginses, o fesur yr Atheniaid.

a'r holl dabernacl, ynghyd a'r offrymmau. Yr ydoedd yno hefyd amryw fath o ber-lysiau a berthynai i'r tabernacl, a'r fath ag ydoedd dra gwerthfawr, y rhai a ddygid at allor aur y poeth offrwm, natur pa rai nid wyf yn awr yn ei ddarlunio, rhag blino fy narllenydd. Ond yr oedd yr aroldarth * i gael ei offrymmu ddwywaith yn y dydd, o flaen codiad a machludiad haul. Yr oeddynt hefyd i gadw olew puredig yn barod i'w lampau, tair† o ba rai ydoedd i oleuo trwy'r holl ddydd yn y canwyllbren cyssegrol o flaen Duw, a'r lleill ond i'w goleuo yn yr hwyr.

Wedi gorphen y cwbl, Besaleel ac Aholiab a ymddangosent yn gywreiniaf o'r holl grefftwyr; canys hwy a ddyfeisiasant ffordd i wneuthur teccach gwaith na neb arall o'u blaen; yr oeddynt yn helaeth o gynneddfau i ddychymmygu yr hyn ag oedd eraill yn anadnabyddus o hono; ac o'r rhai hyn Besaleel a fernid yn oren. Yn awr yr holl amser y buont ynghylch y gwaith hwn ydoedd saith mis; ac ar ol hyn y diweddwyd y flwyddyn gyntaf wedi eu hymadawiad o'r Aipht. Ond ar ddechrau yr ail flwyddyn,‡ yn y mis Xanthicus, fel y mae'r Macedoniaid yn ei alw; ond ym mis Nisan, fel ei gelwir gan yr Hebreaid, ar y newydd loer, y cyssegrasant y tabernacl, a'i holl ddodrefn, pa rai eisioes a ddesgrifiwyd.

Duw a ymddangosodd ei hun yn foddlon i'r gwaith hwn o eiddo'r Hebreaid, ac ni adawodd i'w llafur fyned yn ofer; ac ni ddiystyrodd efe wneuthur defnydd o'r hyn a wnaethent; ond efe a ymostyngodd i ymdaith gyd â hwynt, ac a wnaeth ei babell yn y lle sanctaidd. Ac yn y dull canlynol y daeth efe i breswylio ynddi: yr awyr ydoedd glir, ond yr oedd tarth yn ymdaenu dros y tabernacl yn unig o amgylch, ond nid y fath gwmmwl dudew ag a welir yn y tymmor gauaf, ac etto nid ydoedd mor denau ag y gallid canfod un peth trwyddo; ond oddiwrtho y diferai melys-wlith, ag oedd yn arwyddo presennoldeb Duw, i'r rhai a'i dymunent ac a gredent iddo.

Wedi i Moses gyfrannu rhoddion anrhydeddus i'r gweithwyr ag oedd yn addas iddynt ei dderbyn am waith mor fanwl, efe a offrymmodd aberthau ym mhorth allanol y tabernacl, fel y gorchymmynasai Duw iddo, sef ŷch, a hwrdd, a mŷn gafr yn bech-aberth. Yn awr, bydd i mi lefaru am yr hyn yr ydym yn ei wneuthur yn ein swyddau cyssegredig, yn fy ymddiddan ynghylch yr aberthau; ac yn hwnnw bydd i mi hysbysu i ddynion ym mha amgylchiad yr oedd Moses yn peri i ni offrymmu cyfan-aberthau tanllyd, a pha fodd yr oedd y gyfraith yn caniattau cyfranogiad o honynt fel lluniaeth. Ac wedi i Moses daenellu gwisgoedd Aaron ei hun, ynghyd a'i feibion, â gwaed yr anifeiliaid a laddwyd, a'u puro â dwfr glân, ac enaint, daethant yn ol hynny yn offeiriaid Duw. Yn ol y drefn hon y cyssegrodd efe hwynt, a'u gwisgoedd, am saith niwrnod cyfan. Yn gyffelyb y gwnaeth efe â'r tabernacl, ac â'r dodrefn perthynol iddo, ag olew arogldarth, megis y dywedais, yn gyntaf, ac â gwaed teirw a hyrddod, wedi eu lladd, un yn ol un yn feunyddiol, wrth eu rhywogaeth. Ond ar yr wythfed dydd efe a ordeiniodd wledd i'r bobl, gan orchymmyn iddynt offrymmu aberthau yn ol eu gallu. Yn ganlynol ymrysonasant â'u gilydd, ac oeddynt yn awyddus i ragori y naill ar y llall yn yr aberthau a ddygasant, ac felly hwy a gyflawnasant y gorchymmyn a roddasai Moses iddynt. Ond, fel yr oedd yr aberthau yn gorwedd ar yr allor, ennynodd tân cyflym oddi rhyngddynt o hono ei hun; ac a ymddangosodd i'r golwg megis tân oddiwrth lewyrchiad mellten, ac a ddifaodd pa beth bynnag oedd ar yr allor.

Ar hyn cystudd a oddiweddodd Aaron, a'i ystyried fel dyn a thad caredig; ond efe a ymgynnaliodd dano gyd â gwrolder, canys yr oedd yn wir wedi ei feddiannu â chadernid yspryd ar y fath ddamweiniau; ac efe a farnodd ddyfod y trallod hwn iddo yn ol ewyllys Duw: canys a chanddo bedwar mab, fel y crybwyllais o'r blaen, y ddau hynaf, Nadab ac Abihu, ni

* Yr arogldarth a offrymmid yma, yn ol tybiad Josephus, cyn codiad a machludiad haul; ond yn nyddiau Pompey, yn ol yr un Josephus, yr aberthau a offrymmid yn y boreu, ac ar y nawfed awr. XIV. 4.

† Oddi yma y gallwn ddiwygio barnau y Rabbiniaid diweddar, y rhai a ddywedant nad oedd ond un o'r saith lampau yn llosgi liw dydd. lle y mae Josephus, yr hwn oedd lygad-dyst o hono, yn dywedyd mai tair oeddynt.

‡ Bl. 1551.

ddygasant yr aberthau a barodd Moses iddynt eu dwyn, eithr rhai a arferent gynt eu hoffrymmu, a hwy a losgwyd ill dau i farwolaeth. Yn awr, pan ruthrodd y tân arnynt, a dechreu eu llosgi, ni allai neb ei ddiffodd; yn ganlynol hwy a fuant feirw yn y modd dychrynllyd hwn: a Moses a orchymmynodd i'w tad a'u brodyr i gymmeryd i fynu eu cyrph, eu dwyn ymaith o'r gwersyll, a'u claddu mewn modd anrhydeddus. Yn awr, y lliaws a alarasant o'u herwydd, ac a dristäwyd yn ddirfawr oblegid eu marwolaeth, yr hyn mor ddisymmwth a'u cyfarfyddodd. Ond Moses a ymbiliodd â'u brodyr ac â'u tad i beidio a thrallodi eu hunain o'u herwydd; i wneuthur mwy cyfrif o anrhydeddu Duw, nag o ofidio yn eu hachos hwy; canys Aaron a ddodasai eisoes am dano y gwisgoedd cyssegredig. Moses a wrthododd yr holl anrhydedd ag a welodd y lliaws fod yn barod i gyfrannu arno, ac ni wnaeth gyfrif o ddim ond gwasanaeth Duw. Nid aeth mwyach i fynydd Sinai, eithr efe a aeth i mewn i'r tabernacl, ac a ddug yn ol attebion oddiwrth Dduw i'r hyn a weddiodd am dano. Ei wisg oedd hefyd y fath ag a berthynai i ddyn cyffredin; ac ym mhob amgylchiadau eraill efe a ymddygodd ei hun fel un o'r cyffredin bobl, gan ewyllysio ymddangos megis heb wahaniaethu ei hun oddiwrth y dyrfa; ond a fynnai i bawb wybod nad oedd efe yn gwneuthur dim ond gofalu drostynt. Efe hefyd a nododd i lawr mewn ysgrifen y ffurf o'u llywodraeth; a'r cyfreithiau hynny drwy ufudd-dod i ba rai yr arweinient eu bywydau yn y fath fodd ag i ryngu bodd Duw, ac yn y cyfryw fodd a'r na ymrysonent y naill tu ag at y llall. Pa fodd bynnag, y cyfreithiau a draddododd efe ydoedd gyfryw ag a roddasid iddo gan Dduw: felly bydd i mi yn awr ymddiddan ynghylch y ffurf hynny o lywodraeth, a'r cyfreithiau perthynol iddi.

Mi a draethaf yn awr am yr hyn a adewais o'r blaen ar ol, ym mherthynas i wisg yr archoffeiriad; canys ni adawodd Moses le i ymarferiad drygionus gau-brophwydi; ond os rhai o'r cyfryw a anturient gamddefnyddio yr awdurdod ddwyfol, efe a adawodd ar Dduw i fod yn bresennol yn ei aberthau pan welai yn oreu, ac absennoli ei hun megis yr ewyllysiai. Ac efe a ewyllysiodd i hyn gael ei wybod, nid gan yr Hebreaid yn unig, ond gan ddieithriaid hefyd ag ydoedd yno. Canys ymherthynas i'r ddau Sardonyx * a wisgai yr archoffeiriad

* Yr attebiadau hyn gan yr orael, neu attebfa yr Urim a'r Thummim, pa ryw eiriau sy'n arwyddo goleuni a pherffeithrwydd, neu fel y mae 'r LXXII yn eu deongli, datguddiad a gwirionedd; ac nid yw yn arwyddo ychwaneg, fel y gwelaf fi, na'r meini disglaer eu hunain, y rhai a arferid yn ol y drefn yma o lewyrchiad yn y datguddiad o ewyllys Duw, mewn modd gwirioneddol a pherffaith i'w bobl Israel. Yr attebiadau hyn, meddaf, ni wnaed drwy lewyrchiad y meini gwerthfawr, mewn trefn anaddas, yn nwyfronneg yr offeiriad, fel y mae y Rabiniaid diweddar yn ofer ddychymmygu, ac fel y mae y dysgedig yn deongl Philo a Josephus, ond heb sail ddigonol, mor bell ag yr wyf fi yn canfod; canys yn sicr disgleirdeb y meini a allai ragflaenu neu ganlyn yr orael, heb ei fod yn rhoddi 'r orael, neu 'r attebfa hwnnw ei hun; gwel Hynaf. VI. 6; eithr yn hytrach drwy lais soniarus yr ydoedd oddiar y drugareddfa, rhwng y cerubiaid. Gwel Prid. Connect. bl. 534, yn gwbl. Yr orael yma a ddistawasai, fel yr hyspysa Josephus i ni, 200 o flynyddau cyn ysgrifennu o hono ef ei hynafiaethau, neu er dyddiau Ioan Hyrcanus, y diweddaf archoffeiriad daionus o deulu y Maccabeaid. Yn awr y mae 'n deilwng o'n sylw, ymherthynas i'r orael hwn, mai 'r un hynny ydoedd drwy 'r hwn yr oedd Duw yn ymddangos ei fod yn bresennol gyd â ei bobl Israel, ac yn rhoddi cyfarwyddyd iddynt fel eu brenin, drwy gydol yr amser ag yr ymostyngent iddo ef dan yr enw hwnnw, ac na osodent arnynt y fath frenhinoedd anymddibynnol, ac a lywodraethai arnynt yn ol eu hewyllysiau a'u dibenion eu hunain, ac nid yn ol dwyfol gyfarwyddiadau: yn ganlynol rhoddwyd i ni yr orael yma, heblaw rhybuddion angylaidd, a phrophwydoliaethol o hyd yr amserau, o ddyddiau Moses a Joshua hyd enneiniad Saul, y cyntaf o frenhinoedd dilynol Israel. Num. xxvii. 21. Barn. i. 1. xviii. 5, 6. xx. 18. 23. 27. 28. 1 Sam. i. 14. iij. a'r iv. ben. Ie, hyd wrthodiad y dwyfol orchymmyn gan Saul, yn y rhyfel ag Amalech, pan gymmerodd arno weithredu y modd y gwelai yn dda ei hun. 1 Sam. xiv. 18, 19, 36, 37. Yna 'r orael, neu 'r attebfa hwn a adawodd Saul yn gwbl, (pa un yn wir nid ymgyngorasai ag ef ond yn anfynych o'r blaen; gwel 1 Sam. xvi. 35. 1 Cron. x. 14. xiii. 3. Hynaf. Jos. VII. 4.) eithr a fu gyd â Dafydd, yr hwn a enneiniwyd yn ganlynol iddo, a'r hwn a ymgynghorodd yn fynych â Duw trwyddo, ac a gydsyniodd â'i gyfarwyddiadau yn wastadol. Gwel 1 Sam. xxii. 13. 15. xxiii. 9. 10. xxx. 7. 8. 2 Sam. ii. 1. v. 19. 23. xxi. 1. 1 Cron. xiv. 10. 14. Hynaf. Jos. VI. 12. VII. 4. Saul yn wir dros hir amser wedi ei wrthodiad gan Dduw, ac wedi ei roddi i fynu ganddo i ddinystr am ei anufudd-dod, a ddarfu unwaith ymdrechu i ymgynghori â Duw pan ydoedd yn rhy ddiweddar; ond ni fynnai Duw y pryd hynny ei atteb ef trwy freuddwydion, trwy Urim, neu trwy y prophwydi; 1 Sam. xxxvii. 6. Ac ni ddarfu i neb yn ol Dafydd, o frenhinoedd Juda, a'r a wyddom am danynt, ymgynghori â Duw trwy 'r orael yma hyd y caethiwed Babilonaidd, pan ddiweddodd y brenhinoedd hyn; y rhai fel yr wyf yn tebygu, a gymmerent iddynt ormod o awdurdod arglwyddiaethol a brenhinol, ac yn rhy esgeulus yn cydnabod Duw Israel yn oruwch frenin ar Israel; er darfod i ychydig o honynt ymgynghori rai gweithiau â'r prophwydi, pa rai a attebwyd ganddynt. Ar ddychweliad y ddau lwyth o'r caethiwed, heb ddychwelyd o'r llywodraeth frenhinol gyd â hwynt, disgwyliwyd y byddai adferiad o'r orael hwn; Neh. vii. 65. 1 Esd. v. 40. 1 Macc. iv. 46. ac yn wir gallai ymddangos fel wedi ei adferyd dros ryw hyd ar ol y caethiwed Babilonaidd, o leiaf yn nyddiau yr archoffeiriad odiaethol hwnnw, Ioan Hyrcanus, yr hwn a barchai Josephus megis brenin, offeiriad, a phrophwyd; a'r hwn, eb efe, a ragfynegodd amryw bethau a ddigwyddasant yn ganlynol: ond ynghylch amser ei farwolaeth y mae 'n arwyddo i'r orael yma ddistewi yn hollawl, ac nid yn gynt. Yr archoffeiriaid canlynol a wisgasant goron-bleth ar eu pennau, ac a reolasant yn ol eu hewyllysiau eu hunain a'u hawdurdod, fel brenhinoedd eraill yn y gwledydd paganaidd o'u hamgylch. Felly tra y cydnabyddid Duw Israel yn oruchaf frenin ar Israel, a'i addysgiadau ef yn brif reol iddynt. Duw

ar ei ysgwyddau, un o honynt a lewyrchai allan pan fyddai Duw yn bresennol yn eu haberthau; pelydrau disglaer a saethai allan o hono, a weiid o bell gan y rhai a graffeut arno; pa ryw lewyrchiad nid ydoedd naturiol i'r garreg o'r blaen. Hyn a ymddangosodd yn beth rhyfedd i'r sawl na roddasant gymmaint derbyniad i philosophyddiaeth, ag i ddiystyru dwyfol ddatguddiad. Eithr mi a grybwyllaf am bethau oedd etto yn fwy rhyfedd; canys Duw a amlygodd ym mlaen llaw wrth y deuddeg meini hyn, y rhai a ddygai'r archoffeiriad ar ei ddwyfron, a'r rhai a osodasid yn y ddwyfronneg, pa amser y byddent yn fuddugoliaethus mewn brwydr; canys y fath ddisgleirdeb a lewyrchodd oddi wrthynt o flaen y fyddin pan gychwynent, a bod yr holl bobl yn deimladwy o bresennoldeb Duw er eu hamddiffyniad. Oddi yma yr oedd ddarfod i'r Groegiaid hynny ag oedd yn parchu ein cyfreithiau ni, oblegid na's gallent gyd â phossiblrwydd wrthwynebu hyn, alw y ddwyfronneg hynny, *oracl.* Yn awr fe ddarfu i'r ddwyfronneg, a'r sardonyx yma, adael o'r neilldu ymddisgleirio ddau cant o flynyddau* cyn im' gyfansoddi y gwaith hwn; drwy fod Duw wedi anfoddloni wrth droseddiadau ei gyfraith. Am yr hyn bethau y cawn draethu ymhellach gyd â gwell cyfleusdra: ond mi af ym mlaen â'm bwriadol hanesyddiaeth.

Wedi darfod cyssegru y tabernacl, a sefydlu trefn reolaidd i'r offeiriaid, y tyrfaoedd a farnasant fod Duw wedi dyfod yn awr i breswylio yn eu mysg; a hwy a ymwnaethant i offrymmu aberthau,† a chlodforedd i Dduw, megis yn awr wedi eu gwaredu o bob disgwyliad am ddrygau; a chan gynnwys meddyliau gobeithlawn am amserau gwell yn ol hyn. Offrymmasant hefyd roddion i Dduw; rhai megis peth a berthynai i'r holl genedl, ac eraill drostynt eu hunain yn neillduol, lwyth ar ol llwyth. Canys pennau y llwythau a unasant â'u gilydd, ddau ar ol dau, ac a ddygasant fenn, a phar o ychen yn ei chludo hi. Eu nifer ydoedd chwech, a'r rhai hyn a ddygasant y tabernacl o amgylch yn eu teithiau: heblaw hyn, pob pennaeth llwyth a ddygant phïol, dysgl, a llwy, o ddeg daricks, ‡ llawn o arogl-darth. Yn awr y ddysgl a'r phïol oeddynt o arian, y rhai a bwysent ynghyd ddau can' sicl; ond y phïol nid ydoedd werth ychwaneg na deg a thrugain o siclau; a'r rhai hyn oeddynt lawn o beilliad wedi ei gymmysgu ag olew, y fath ag a ddefnyddient ar yr allor gyd â'r aberthau. Dygasant hefyd ŷch neu eidion ieuangc, a hwrdd, gyd ag oen un mlwydd yn offrwm poeth perffaith-gwbl, ynghyd a gafr yn bech-aberth. Pob un o bennau y llwythau a ddygasant offrymmau eraill hefyd, a elwid yn offrymmau hedd; am bob diwrnod dau ŷch, a phump

---

a gyfrannodd y fath gyfarwyddiadau iddynt, fel eu brenin a'u peullywodraethwr, fel yr oeddynt yn gymmwys dan lywodraeth ddwyfol, drwy 'r oracl yma o Urim, ond nid yn hwy; gwel nodau Dr. Bernard; yr wyf yn cyffesu na 's gallaf lai na pharchu breuddwyd dwyfol yr archoffeiriad Jaddus, Hynaf. XI. 8. a phrophwydoliaeth hynodaf yr archoffeiriad Caiaphas, Ioan xi. 47---52, fel dau weddillion bychain, neu gynllun yr oracl hynafol yma, pa un a berthynai yn briodol i'r offeiriaid Iuddewig; ac ysgatfydd, na ddylem hollol anghofio godidog freuddwyd prophwydoliaethol Josephus ei hun; (un ag oedd nesaf i archoffeiriad, ac o dylwyth yr Asmoniaid neu Maccabeaid, o du ei fam; ac o du ei dad y cyntaf o'r pedwar gradd ar hugain o offeiriaid,) ymherthynas i ddilyniad Vespasian a Titus yn yr ymerodraeth Rufeinaidd, a'r un hynny yn nyddiau Nero, a chyn meddwl am Galba, Otho, neu Vittelius, i'w dilyn hwynt. Hanes y Rhyf. III. 8. IV. 10. a hyn wedi ei gadarnhau gan Suetonius in Vespas. § 5. a Dio in Xiphiline. t. d. 317. Hyn, debygwn i, a ellir ei ystyried fel yr arwydd diweddaf o unrhyw beth tebygol i brophwydoliaeth yr Urim ymhlith y genedl Iuddewig, ag ydoedd agos ragflaeniad o'u dinystr. Ond pa fodd yr oedd yn bossibl ddyfod o amgylch i ddynion mor enwog a Sir John Marsham a Dr. Spencer, dybied i'r oracl neu 'r attebfa yma trwy Urim a Thummim, gyd ag ymarferiadau eraill mor hyned neu hŷn na chyfraith Moses, gael eu hordeinio mewn dilyniad i ryw beth tebyg iddynt ym mhlith yr Aiphtiaid, yr hyn nid ydym byth yn clywed am dano hyd ddyddiau Diodorus, Siculus, Elian, a Maimonides, neu ychydig cyn amser nodedig Cristionogrwydd yn yr eithaf, sydd beth na ellir rhoddi cyfrif am dano. Pan mai prif ddiben cyfraith Moses ydoedd yn amlwg, i gadw 'r Israeliaid oddiwrth ymarferiadau eilunaddolgar a choelgrefydd y cenhedloedd paganaidd oddi amgylch; a thra yn ddiwâd y mae tystiolaeth o hynafiaeth cyfraith Moses yn anghydmarol tu hwnt i hynafiaeth y cyffelyb ymarferiadau ym mhlith yr Aiphtiaid, neu un genedl arall, yr hyn yn wir sydd gan mwyaf yn ddim oll: Ynfydrwydd yw meddwl darddu rhai o gyfreithiau Moses mewn dilyniad o rai ymarferiadau coelgrefyddol y cenhedloedd. Y fath ddychymmyg a ddengys i ni mor bell y dichon tueddrwydd ffynnu ar dystiolaeth, yn rhan o'r mwyaf dysgedig o ddynolryw. Gwel Dr. Bernard yn ei nodau tra defnyddiol ar y bennod hon, mewn gwrthwynebiad i Dr. Spencer, megis y maent yn sefyll yn gyflawn ynghyhoeddiad Havercamp.

* Ynghylch bl. 107, dau can' mlynedd cyn B. A. 93. y drydedd flwyddyn ar ddeg i Domitian, pan gyhoeddodd Josephus ei Hynafiaethau.

† Am yr aberthau Iuddewig, cydmared y darllenydd dysgedig y nodau ynghyhoeddiad Havercamp, a thraethawd rhagorol Dr. Outram, a enwir De Sacrificiis.

‡ Yr hen arian hyn a elwid Daricks a grybwyllir, fel yr wyf yn tybied, yn gyntaf gan Xenophon, ychydig flynyddau ar ol dechreu teyrnasiad Cyaxares II. neu Darius y Mediad, (am yr hwn enw Mediaidd, Darius, fe ymddengys yn unig weddill hynafiaeth genhedlig), a'r rhai hyn a grybwyllir ganddo ef megis o faintioli mawr, ac a ymddangosant fel medals neu ddarnau o arian a fathwyd er anrhydedd coroniad yr un brenhinoedd.

o hyrddod, gyd ag ŵyn o un mlwydd o oed, a mynnau geifr. Y pennau llwythau hyn a fyddent ddeuddeg niwrnod yn aberthu, pan yr aberthai un o honynt bob dydd. Yn awr, Moses nid aeth mwyach i fynydd Sinai; ond efe a aeth i mewn i'r tabernacl, ac a ddysgodd gan Dduw pa beth yr oeddynt i'w wneuthur, a pha gyfreithiau a osodid i fynu; pa ryw gyfreithiau oeddynt yn rhagori ar yr hyn a ddyfeisiwyd gan ddeall dynol; ac a brofwyd eu bod i'w cadarn sylwi dros yr holl amserau i ddyfod; megis i'w credu fel rhoddion oddiwrth Dduw; yn gymmaint na feiddiai yr Hebreaid droseddu unrhyw o'r gorchymmynion hyn, megis yn cael eu temtio i hynny mewn amserau o heddwch drwy ormodedd, neu yn amser rhyfeloedd drwy gyfyngdra mewn amgylchiadau.

## PENNOD IX.

### *Am y Dull o offrymmu'r Aberthau.*

BYDD i mi grybwyll yn awr am ychydig o'n cyfreithiau perthynol i buredigaeth, a'r cyffelyb swyddau cyssegredig, yn gymmaint a'm bod yn ddamweiniol wedi dyfod at yr ymarferiad o aberthu. Yr aberthau hyn ydynt o ddau ryw; un yn cael ei offrymmu dros bersonau neillduol, a'r llall dros y bobl yn gyffredinol; a hwy a gyflawnir mewn dwy o wahanol ffyrdd. Yn un achos, yr hyn a leddir sy'n cael ei losgi megis poeth offrwm, o ba le y mae'n cael yr enw: ond y llall sydd offrwm o ddiolchgarwch, ac a fwriadir yn wledd i'r aberthwyr. Mi a draethaf am y cyntaf. Bwrier fod i ddyn neillduol offrymmu poeth offrwm; rhaid iddo ladd ŷch, oen, neu fŷn gafr, a'r ddau olaf o un mlwydd o oedran; eithr o ychain, caniattëir iddo aberthu y rhei'ny o ychwaneg oedran, ond yr holl boethoffrymmau oeddynt i fod yn wrrywaid. Pan ladder hwynt, yr offeiriaid oeddynt i dywallt y gwaed oll o amgylch yr allor; yna y maent yn glanhau 'r cyrph, a'u torri yn rhannau, eu halltu, a'u gosod ar yr allor, pan bentyrrir y coed y naill ar gefn y llall, ac yr ennyner y tân i losgi. Yna y maent yn glanhau traed yr aberthau, a'r rhannau tu-fewnol yn dra gofalus; ac felly y dodant hwy gyd â'r gweddill, i'w puro â thân, tra mae'r offeiriaid yn derbyn y crwyn: dyma y dull o offrymmu poeth offrwm.

Y rhai sy'n offrymmu aberthau o ddiolchgarwch, ydynt yn wir yn offrymmu yr un creaduriaid, eithr y rhai a fyddo yn ddianaf, ac yn flwydd o oed. Pa fodd bynnag, gallant gymmeryd o honynt wrryw neu fenyw. Y maent hefyd yn taenellu'r allor â'u gwaed hwy; ond dodant ar yr allor yr arennau, y rhwyden, ynghyd a'r holl frasder, a dalennau 'r afu; maent hefyd yn rhoddi 'r ddwyfron a'r ysgwyddog ddehau i'r offeiriaid; fel y maent yn gwledda ar y rhan arall o'r cig, am ddeuddydd, a'r hyn a fo 'n weddill a losgant.

Yr aberthau dros bechod a offrymmir yn yr un dull ag y gwneir yr offrwm diolchgarwch; ond y rhai a fo 'n analluog i bwrcasu aberthau cyfain, a offrymment ddau gyw colommen; un o ba rai a roddir yn boeth-offrwm i Dduw, a'r llall yn ymborth i'r offeiriaid. Ond nyni a draethwn yn fwy helaeth ynghylch offrymmiad y creaduriaid hyn, yn ein hymadrodd am yr aberthau: ond os rhyw un a syrthiai i bechod drwy anwybodaeth, efe a offrymmai fam-oen, neu fŷn fenywaidd o'r geifr, o'r un oed; a'r offeiriaid a daenellai y gwaed ar yr allor, nid yn ol y dull cyntaf, ond ar ei chonglau hi. Dygant hefyd yr arennau a gweddill y brasder, ynghyd â dalennau 'r afu at yr allor; tra mae 'r offeiriaid yn dwyn ymaith y crwyn a'r cig, ac yn gwneuthur defnydd o honynt yn y lle sanctaidd* yr un dydd; canys nid yw 'r gyfraith yn caniattäu gadael dim o hono hyd y boreu. Ond os pecha rhyw un, a bod ei hun yn gydwybodol o hynny, ond heb neb a allai ei brofi i'w erbyn, efe a offrymmai hwrdd; cig pa un a fwyttai 'r offeiriaid megis o'r blaen, yn y lle sanctaidd ar yr un

* Yr hyn y mae Reland yn sylwi yma, allan o waith Josephus, wedi ei gydmaru â chyfraith Moses, Lef. vii. 15. (fod gweddill yr aberth yn cael ei fwytta yr un dydd ag yr offrymmid, a ymddengys ei fod yn ystyried i hynny gael ei wneud cyn y boreu nesaf: er fod y rhan ddiweddaf o'r nos, yn yr ystyr fanylaf yn rhan o'r dydd canlynol, yn ol cyfrifiad yr Iuddewon,) yr hyn sydd i neillduol sylwi arno mewn amrywiol achosion hefyd. Y rheol Iuddewig yn y fath amgylchiadau a ymddengys ei fod yn hyn—bod y dydd yn blaenori y nos; a'r hyn a arwydda i mi ei bod yn iaith yr Hen Destament a'r Newydd. Gwel hefyd y nod ar IV. 4, a nod Reland ar IV. 8.

dydd. Ac os y blaenoriaid a offrymmai aberthau dros eu pechodau, dygant yr un offrymmau a'r cyffredin bobl, oddieithr iddynt wahaniaethu mor bell, a bod iddynt ddwyn yn aberthau ŷch, a mŷn gafr, yn wrryw bob un.

Yn awr, fe ofyn y gyfraith mewn offrymmau neillduol a chyhoeddus, ddwyn y peilliad goreu hefyd: gyd ag oen, y mesur o ddegfed ran; gyd â hwrdd, dau; a chyd â bustach, tri. Y pethau hyn y maent yn eu cyssegru ar yr allor, wedi eu cymmysgu ag olew: canys olew hefyd a ddygir gan yr aberthwyr, gyd ag ŷch, hanner y mesur a elwir hin; gyd â hwrdd, y drydedd ran o'r un mesur; a'i chwarter gyd ag oen. Dygant yr un faint o olew ag o win, a hwy a dywalltant y gwin o amgylch yr allor; ond os bydd rhyw un heb offrymmu aberth cwbl o anifeiliaid, ond a ddug beilliad yn unig er mwyn ei adduned, efe a deifl lonaid llaw ar yr allor, megis ei flaenffrwyth; tra mae 'r offeiriaid yn cymmeryd y gweddill yn fwyd iddynt; un ai wedi ei ferwi, neu gymmysgu ag olew, ac wedi ei wneuthur yn deisennau o fara; ond pa beth bynnag a fyddo, ag a offrymmo 'r offeiriad ei hun, rhaid o angenrheidrwydd ei losgi oll. Yn awr, y gyfraith a orchymmyn i ni beidio ag offrymmu un creadur ar yr un amser a'i fam; ac mewn amgylchiad arall heb fod yn wyth niwrnod o oed. Aberthau eraill a appwyntir er diogelwch rhag clefydau, neu achosion eraill; ym mha rai y treulir bwyd-offrymmau, ynghyd â'r anifeiliaid a aberthir; o'r rhai nid yw gyfreithlon gadael un rhan o honynt hyd y dydd nesaf: yn unig bod i'r offeiriaid gymmeryd eu rhan eu hunain.

## PENNOD X.

*Am y Gwyliau, a'r modd y mae pob Dydd o honynt i'w sylwi a'i ddefnyddio.*

GOFYN y gyfraith, allan o'r draul gyffredin, i oen y flwyddyn gyntaf gael ei ladd bob dydd, ar ddechreu a diwedd y diwrnod; * ond ar y seithfed dydd, yr hwn a elwir y Sabbath, yr oeddynt i ladd dau, a'u haberthu yn yr un modd.

Ar y newydd loer, y maent yn cyflawni yr aberthau beunyddiol, ac yn lladd dau o deirw, gyd â saith oen, y flwyddyn gyntaf, a mŷn o'r geifr hefyd, i wneuthur iawn am bechodau, hynny yw, os pechasant drwy anwybodaeth.

Ar y seithfed mis, a eilw y Macedoniaid Hyperberetæus, maent yn chwanegu at y rhai a grybwyllwyd eisoes, ac yn offrymmu ŷch, hwrdd, a saith oen † ynghyd a mŷn gafr dros eu pechodau.

Y degfed ‡ dydd o'r unrhyw fis lloerawl, y maent yn ymprydio hyd yr hwyr, a'r dydd hwn y maent yn aberthu ŷch, dau hwrdd, saith o ŵyn, a mŷn gafr dros bechodau; ac heblaw y rhai hyn, dygant ddau fŷn gafr, un o ba rai a anfonir yn fyw allan o derfynau y gwersyll i'r anialwch, yn fwch diangol, ac i ddilëu pechodau yr holl dyrfa; ond y llall a ddygir i le wedi ei gwbl lanhau, y tu fewn i derfynau y gwersyll, ac a losgir yno, ynghyd a'i groen, heb unrhyw lanhad. gyd â'r bwch hwn y llosgir ŷch neu darw, nid wedi eu dwyn yno gan y bobl, ond gan yr archoffeiriad, ar ei gost ei hun; y rhai pan ladder hwynt, efe a ddug o'u gwaed i'r lle sanctaidd, ynghyd â gwaed y mŷn gafr, ac a daenella y gronglwyd ag ef saith waith, megis y palmant hefyd, ac mor amled tu ag at y lle sancteiddiolaf, ac o amgylch yr allor aur. Efe hefyd yn ddiweddaf a'i dug i'r porth oddi allan, ac a'i taenella o amgylch yr allor fawr. Heblâw hyn, hwy a osodant y rhannau allanol, yr arennau a'r brasder, a dalen yr afu ar yr allor; a'r archoffeiriad a ddug hwrdd ei hun i Dduw yn boeth-offrwm.

Ar y pymthegfed § dydd o'r unrhyw fis, pan gyfnewidiai tymmor y flwyddyn i'r gauaf, mae'r gyfraith yn ein gorchymmyn i osod pebyll ym mhob un o'n tai, ond yn y fath fodd ag y cadwom ein hunain oddiwrth oerfel yr amser hwnnw o'r flwyddyn; megis hefyd pan gyrhaeddem i'n gwlad ein hunain, y deuem i'r ddinas honno a fyddai gennym y pryd hwnnw yn fam-ddinas, o herwydd y deml a adeiladid ynddi, a'r ŵyl a gedwid oblegid hynny dros wyth niwrnod; y poeth-offrymmau a aberthid, a'r offrwm o ddiolchgarwch; y dygem yn ein dwylaw y pryd

* Exod. xxix. 38. Num. xxviii. 3.

† Num. xxix. 2. ‡ Lef. xxiii. 27. § Num. xxix. 12.

hynny ganghennau o fyrtwydd a phalmwydd, gyd â chwanegiad o pomecitron; fod i'r poeth-offrwm a fyddai ar y cyntaf o'r dyddiau hynny, fod yn dri ar ddeg o deirw, pedwar ar ddeg o ŵyn, pymtheg o hyrddod, gyd â chwanegiad o fŷn gafr, yn iawn am bechod; ac ar y dyddiau canlynol, i'r un rhifedi o ŵyn a hyrddod, a mŷn gafr gael eu haberthu; ond i leihau un ŷch neu darw bob dydd, hyd oni byddai eu cyfrif yn saith yn unig. Ar yr wythfed dydd yr holl orchwyl a osodid o'r neilldu, ac yna, megis y soniasom o'r blaen, hwy a offrymasant i Dduw un bustach, un hwrdd, saith o ŵyn, a mŷn gafr i wneuthur iawn am bechod: a dyma wyliau arferedig yr Hebreaid pan fyddent yn pabellu.

Ond yn y mis Xanthicus, yr hwn a elwir gennym ni Nisan, * ac sydd yn ddechreuad ein blwyddyn, ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis lloerawl, pan y mae 'r haul yn aries, (canys ar y mis hwn i'n gwaredwyd o gaethiwed yr Aiphtiaid,) gorchymmynodd y gyfraith fod i ni bob blwyddyn ladd yr aberth hynny, pa un a sylwiais eisoes ddarfod i ni ei ladd pan gychwynasom o'r Aipht, a'r hwn a elwid y pasg; ac felly yr ydym yn coffâu y pasg hwn yn finteioedd, heb adael dim o'r hyn a aberthom hyd y dydd nesaf. Gŵyl y bara croyw a ganlyn y pasg, ac sy 'n syrthio ar y pymthegfed dydd o'r mis, ac yn parhau saith niwrnod, yn oed pa amser y maent yn ymborthi ar fara croyw: ar bob un o'r dyddiau hyn y lleddir dau ŷch, un hwrdd, a saith o ŵyn. Yn awr, yr ŵyn hyn a losgir yn gwbl, heblaw y mŷn gafr, yr hwn a 'chwanegir at y lleill oll, dros bechodau, ac a fwriadir megis gwledd i'r offeiriaid ar bob un o'r dyddiau hyn. Ond ar yr ail dydd o'r bara croyw, yr hwn yw'r unfed dydd ar bymtheg o'r mis, y maent gyntaf yn cyfrannogi o ffrwythau 'r ddaear, canys cyn y dydd hwnnw nid ydynt yn cyffwrdd â hwynt. A thra maent yn ei olygu yn addas i aurhydeddu Duw, oddiwrth yr hwn y maent yn derbyn y cynnaliaeth digonol yma; yn y lle cyntaf y maent yn offrymmu blaenffrwyth eu haidd, a hynny yn y modd canlynol. Cymmerant lonaid llaw o'r tywysennau, ac a'u sychant hwynt; maent wedi hynny yn eu curo hwynt yn fân, ac yn neillduo 'r gronynau oddiwrth y plisg neu 'r ûs; yn ol hynny dygant y ddegfed ran at yr allor i Dduw, a chan fwrw un llonaid llaw o hono ar y tân, gadawant y gweddill yn lluniaeth i'r offeiriaid, ac ar ol hyn y maent yn gyhoedd neu yn neillduol yn medi eu cynhauaf. Y maent hefyd yn eu cyfrannogiad hwn o flaenffrwyth y ddaear, yn aberthu oen megis poeth offrwm i Dduw.

Wedi wythnos o wythnosau fyned heibio yn ol yr aberthiad hwn, pa ryw wythnosau sy'n cynnwys naw diwrnod a deugain; ar y degfed dydd a deugain, † a elwir yn Hebraeg Asartha, yr hyn sy'n arwyddo Pentecost, dygant i Dduw dorth o fara, wedi ei gwneuthur o flawd gwenith, o ddeuddegfed ran gyd â surdoes; ac yn aberthau hwy a ddygant ddau oen; ac wedi iddynt yn unig eu hanrhegu i Dduw, arlwyir hwynt yn swpper i'r offeiriaid, ac ni chaniatteir adael dim o honynt hyd y dydd canlynol. Y maent hefyd yn lladd tri o fustych yn boeth-offrwm, dau hwrdd, a phedwar ar ddeg o ŵyn, gyd â dau fŷn gafr dros bechodau; ac nid oes un o'r gwyliau nad ydynt yn aberthu poeth-offrymmau ynddynt. Maent hefyd yn goddef eu hunain i orphwys ar bob un o honynt. Yn ganlynol y mae 'r gyfraith yn gosod ger bron ymherthynas i'r cwbl, pa ryw y maent i'w haberthu, a'r modd y mae iddynt orphwys oll, a lladd eu haberthau i'r diben i wledda arnynt.

Pa fodd bynnag, allan o'r draul gyffredin, bara wedi ei grasu a osodid ar fwrdd y bara gosod heb surdoes, o bedwar ar hugain degfed ran o beilliad, canys cymmaint a hynny a dreulir ar y bara hwn; dau bentwr o'r rhai hyn a bobid; dygid hwy yno y diwrnod o flaen y sabbath, ond gosodid hwy yn y lle sanctaidd fore ddydd y sabbath, wedi eu gosod yn chwech ym mhob pentwr ar y bwrdd cyssegredig, y naill dorth yn sefyll bob pryd uwch y llall, lle yr oedd dau gwpan aur llawn o ber-arogl, wedi eu gosod hefyd arnynt; yno y gadewid hwynt hyd yr ail sabbath; ac yna y dygid bara eraill yn eu lle

*Neu Abib, Deut. xvi. 1.

† Lef. xxiii. 16.

hwynt, pan ddodid y torthau hyny yn ymborth i'r offeiriaid, a'r per-arogl a losgid yn y tân cyssegredig, ym mha un y llosgid eu holl offrymmau hefyd; ac felly dodid per-arogl arall ar y torthau, yn lle yr hyn ydoedd yno o'r blaen. Yr arch-offeiriad hefyd, ar ei gost ei hun, a offrymmodd aberthau ddwywaith yn y dydd. Yr ydoedd wedi ei wneuthur o beilliad cymmysgedig ag olew, ac wedi ei grasu yn araf wrth dân. Y mesur ydoedd un degfed ran o beilliad. Efe a ddygai ei hanner at y tân yn y bore, a'r hanner arall y nos. Yr hanes am yr aberthau hyn a roddaf yn fanylach rhagllaw, ond yr wyf yn meddwl ddarfod egluro yn ddigonol am danynt dros yr amser presennol.

## PENNOD XI.

### *Am y Puredigaeth.*

MOSES a ddetholodd allan lwyth Lefi, heb ymgymmysgu â'r rhan arall o'r bobl, ac a'u neillduodd i fod yn llwyth sanctaidd, gan eu puro drwy ddwfr, wedi ei gymmeryd o ffynnonnau rhedegog, a chyd a'r fath aberthau ag a arferid eu hoffrymmu i Dduw ar y cyffelyb achosion. Efe hefyd a draddododd i'w gofal hwy y tabernacl, y llestri cyssegredig, a'r llenni eraill a wnaethid i orchuddio 'r tabernacl, fel y gwasanaethent yno dan gyfarwyddyd yr offeiriaid, y rhai a gyssegrasid eisoes i Dduw.

Efe hefyd a benderfynodd ymherthynas i'r creaduriaid byw, pa rai o honynt a arferid yn fwyd, a pha rai a ymgedwid rhagddynt; pa ryw fatterion, pan roddo 'r gwaith hwn achlysur i hynny, a eglurir ymhellach, a'r achosion a chwanegir, o herwydd pa rai y cymhellwyd ef i bennodi rhai i fod yn ymborth i ni, ac i ymarbed oddiwrth eraill. Pa fodd bynnag, efe a waharddodd yn hollol i ni wneuthur defnydd o waed yn fwyd, gan ei gyfrif megis yn cynnwys enaid ac yspryd. Efe hefyd a waharddodd i ni fwytta cig un creadur a fyddai farw o hono ei hun, megis hefyd y weren fol, a brasder geifr, defaid, a theirw.

Efe hefyd a ordeiniodd i'r rhai y byddai eu cyrph yn gystuddiedig gan wahanglwyf, ac a flinid gan y gonorrhœa, na ddeuant i mewn i'r ddinas; * ïe, efe a symmudai y gwragedd, dan ryw amgylchiad neillduol, hyd y seithfed dydd, yn ol pa amser efe a'u golygai megis wedi ei puro, ac a ganiattäi iddynt ddyfod i mewn drachefn. Y mae 'r gyfraith yn caniattäu hefyd i'r rhai a fyddai â gofal angladdau i gael dyfodiad i mewn yr un modd, pan fyddai y rhifedi hyn o ddyddiau drosodd; ond os cedwid rhai yn hwy na'r nifer hynny o ddyddiau mewn cyflwr o aflendid, y gyfraith oedd appwyntio dau oen yn aberth, un o ba rai oeddynt i'w buro drwy dân, a'r llall a gymmerai yr offeiriaid iddynt eu hunain. Yn yr un modd y mae y rhai hynny yn aberthu, y rhai a flinwyd â'r gonorrhœa; ond am y gwahangleifion, ni oddefai iddynt ddyfod i mewn i'r ddinas, na chyd fyw ag eraill, megis pe byddent yn ddynion meirw mewn effaith. Ond os rhyw un a fwynhai, trwy weddi at Dduw, adferiad o'r clefyd hwnnw, a dychwelyd i iechyd corphorol, y cyfryw un a ddychwelai ddiolch i Dduw, gyd ag amryw fath o aberthau, ymherthynas i ba rai y llefarwn yn ol hyn.

Oddi yma nis gall un lai na gwenu wrth y rhai a ddywedant, fod Moses ei hun wedi ei oddiweddyd gan y gwahanglwyf, pan ffodd efe o'r Aipht, ac iddo ddyfod yn arweinydd i'r rhai, ar y cyfrif hynny a adawsent y wlad honno, ac a'u harweiniodd i dir Canaan; canys pe buasai hyn wir, ni fuasai Moses yn llunio y cyfreithiau hyn er ei ddianrhydedd ei hunan; yr hyn yn wir a fuasai yn debyccach i'w wrthwynebu, pe eraill a ymdrechasai i'w sefydlu; a hynny yn hytrach, oblegid fod gwahangleifion ym mysg amryw genhedloedd, ag oeddynt er hynny mewn anrhydedd; ac nid yn unig yn rhydd oddiwrth waradwydd ac alltudiaeth, ond rhai o honynt a fuont yn flaenoriaid byddinoedd, ac wedi ymddiried iddynt am swyddau uchel yn y wladwriaeth; a hwy a gawsant y rhagorfraint o ddynesu i leoedd cyssegredig a themlau: felly

* Gallwn sylwi yma fod Josephus yn fynych yn galw y gwersyll wrth yr enw dinas, a phorth y tabernacl Moseaidd yn deml, a'r tabernacl ei hun y tŷ sanctaidd; gyd â chyfeiriad at ddiweddarach dinas, teml, a thŷ sanctaidd, a adwaenai mor dda hir amser ar ol hynny.

nid oedd dim yn lluddias, pe buasai Moses ei hun, neu 'r gynnulleidfa oedd gyd ag ef, yn ddarostyngedig i'r fath anaf, gallasai wneuthur cyfreithiau ynghylch yr afiechyd hwn o fwy budd a mantais, ac heb ddodi un anhawsdra arnynt. Yn ganlynol, amlwg ydyw, mai oddiar ragfarn a chasineb y maent yn adrodd y pethau hyn am danom. Ond yr oedd Moses yn bur oddiwrth y fath anhwyldeb, ac yn byw gyd â gwladwyr ag oedd yn rhydd oddi wrtho hefyd; eithr y cyfreithiau hyn a wnaeth megis yn perthynu i eraill ag oedd â'r gwahanglwyf yn naturiol iddynt. Efe a wnaeth hyn er anrhydedd i Dduw; ond am yr achosion hyn, ystyrier hwy gan bob un yn y modd y gwelont yn oreu.

Mewn perthynas i wragedd, pan esgorant ar blant, Moses a waharddai iddynt ddyfod i'r deml, neu gyffwrdd â'r aberthau, cyn myned drosodd ddeugain niwrnod, os bachgen fyddai; ond os geneth a enid, y gyfraith ydoedd na ellid derbyn y fam dan lai na'r rhifedi uchod o ddyddiau wedi eu dyblu drosodd; a phan ar ol eu hamser appwyntiedig a grybwyllwyd, y cyflawnent eu haberthau, yr offeiriaid a'u dosparthent ger bron Duw.

Ond os amheuai rhyw un fod ei wraig yn euog o odineb, yr ydoedd i ddwyn gyd ag ef y degfed ran o beilliad haidd; yna y maent yn dodi dyrnaid o hono at aberth, ac yn rhoddi y gweddill i'r offeiriaid. Un o'r offeiriaid a ddodai 'r wraig wrth y drysau a dröai tu ag at y deml, ac a ddug y gorchudd oddi ar ei phen, gan ysgrifennu enw Duw ar ddarn o femrwn, ac a'i cymmellai i dyngu na wnaethai gamwedd â'i gwr; gan ddymuno os gwnaeth drais i'w diweirdeb, fod i'w chlun ddehau ddadgymmalu, ei chanol fyned yn chwyddedig, a bod iddi farw yn y dull hwn. Ond os darfuasai i'w gwr drwy danbeidrwydd ei serchiadau, ac o herwydd yr eiddigedd a gyfodasai oddiwrth hynny, gael yn fyrbwyll ei gynnyrfu i'r amheuaeth hwn, y byddai iddi ddwyn plentyn gwrryw ar y degfed mis. Yn awr, wedi myned y llwon drosodd, yr offeiriad a olchai ymaith enw Duw oddi ar y memrwn, ac a wasgai y dwfr i phïol. Efe hefyd a gymmerai lwch o'r deml, os digwyddai i beth fod yno, ac a ddodai ychydig o hono yn y phïol, gan roddi yr hyn a fyddai ynddi i'r wraig i'w yfed, ar ba achos os cyhuddasid hi ar gam, y byddai iddi ymddwyn ar blentyn, a'i ddwyn i berffeithrwydd; ond os torrodd ei hadduned briodasol i'w gwr, a thyngu o honi ar gam o flaen Duw, yr ydoedd i farw mewn modd gwaradwyddus;* ei chlun ddehau a syrthiai oddiwrthi, ei chorph a chwyddai gan y dyfrglwyf neu dropsi: a'r rhai hyn yw 'r deddfau perthynol i aberthau, a'r puredigaethau cyssylltedig â hwynt, a drefnodd Moses i'w gydwladwyr. Efe hefyd a osododd y cyfreithiau canlynol yn sefydledig yn eu mysg.

## PENNOD XII.

*Am amrywiol Gyfreithiau a osodwyd gan Moses.*

YMHERTHYNAS i odineb, Moses a'i gwaharddodd yn hollawl, megis yn ei gyfrif yn ddedwyddwch i ddynion arfer doethineb yn achosion priodas, a'i fod yn fuddiol i ddinasoedd a theuluoedd gael boddlonrwydd am gyfreithlondeb eu heppil. Efe hefyd a ffieiddiodd ymgyssylltiad dyn â'i fam, gwraig ei dad, modryb, chwaer, neu wraig mab, megis siamplau o ffiaidd ddrygioni. Efe hefyd a waharddodd i ddyn orwedd gyd â'i wraig wedi ei halogi; ac na nesäent at anifeiliaid direswm; nac ymfoddloni i orwedd gyd â gwrryw ag ydoeddyn ymgais â phleserau anghyfreithlon ar gyfrif tegwch. I'r rhai ag oedd euog o'r fath ymddygiadau rhyfygus, efe a ordeiniodd farwolaeth yn gosp iddynt.

Ymherthynas i'r offeiriaid, efe a osododd iddynt hwythau hefyd reol, o radd ddeublyg o burdeb;† canys efe a'u hattaliodd rhag y beiau a grybwyllwyd, ac hefyd a waharddodd iddynt briodi puttain, neu gaethforwyn, a'r cyfryw a ynnillai eu cynnaliaeth drwy alwedigaethau

* Num. v. 27.

† Y geiriau hyn o eiddo Josephus sydd hynodfawr, fod deddfwr yr Iuddewon yn gofyn gan yr offeiriaid radd ddeublyg o burdeb, mewn cydmariaeth i'r hyn a ofynnir gan y bobl, o'r hyn y mae efe yn rhoddi amrywarwyddion. Dyma fel yr oedd yr achos ym mysg Cristionogion cyntaf, yr eglwyswyr mewn cydmariaeth i'r gwŷr llyg, fel y mae'r gosodiadau apostolaidd a'r canonau ym mhob man yn amlygu i ni.

twyllodrus, ac wrth gadw tafarndai: hefyd rhag gwraig a ymadawsai â'i gwr ar unrhyw achos pa bynnag.Ië, ni thybiai efe yn gymmwys i'r archoffeiriad briodi gweddw un a fyddai wedi marw, er caniattäu hynny i'r offeiriaid; eithr ni chaniattäi iddo ef briodi ond gwyryf yn unig, a chydgyfaneddu â hi: oddiwrth hyn y mae nad oes i'r archoffeiriad neshau at un marw,* er na warafunai i eraill ddyfod yn agos i'w brodyr, eu rhïeni, neu blant, pan f'ont feirw, ond rhaid eu bod yn ddifai ym mhob ystyr. Efe a ordeiniodd fod i'r offeiriad a fyddai a rhyw anaf arno, i gael ei ran yn wir ym mhlith yr offeiriaid; ond efe a waharddai iddo fyned i fynu i'r allor, neu i mewn i'r tŷ sanctaidd. Efe hefyd a orchymmynodd iddynt nid yn unig i ofalu am burdeb yn eu gweinidogaeth gyssegredig, ond yn eu hymarweddiad beunyddiol, ei bod yn ddifai hefyd; ac ar y cyfrif hwn mae fod y rhai sydd yn gwisgo y gwisgoedd offeiriadol i fod yn ddifrycheulyd, a hwythau yn rhagori mewn purdeb a sobrwydd. Ac ni chaniattëir iddynt yfed gwin tra maent yn gwisgo y gwisgoedd hyn.† Ymhellach, y maent i offrymmu aberthau cyfain, ac yn gwbl ddianaf.

Moses a draddododd yr holl orchymmynion hyn iddynt, o'r rhai y gwnaethpwyd sulw yn amser ei fywyd ef; ac er ei fod yn byw yn awr yn yr anialwch, etto efe a wnaeth barottöad o reolau i fyw wrthynt, erbyn yr amser y meddiannent wlad Canaan. Efe a drefnodd iddynt orphwysfa i'r tir hwnnw oddiwrth aredig a phlannu, bob saith mlynedd, megis y gosododd efe iddynt orphwys oddiwrth weithio bob seithfed dydd; ac a ordeiniodd fod i'r hyn a dyfai o hono ei hun y pryd hynny o'r ddaear yn gyffredin i bawb a welent yn dda ei ddefnyddio, heb wahaniaethu yn yr ystyr hynny rhwng eu cenedl eu hun a dieithriaid; ac efe a'u cyfarwyddodd i wneud yr un modd yn ol seithwaith saith mlynedd,‡ y rhai ydynt oll yn ddeng mlynedd a deugain: a'r ddegfed mlwydd a deugain a elwir gan yr Hebreaid y Jubilee. Yr amser hwnnw y rhyddheir dyledwyr oddiwrth eu dyled, a chaethion a osodir mewn rhyddid; y cyfryw gaethion a ddaethant i'r amgylchiad hwnnw, er bod o'r un hiliogaeth, drwy droseddu rhai o'r cyfreithiau heb fod yn angeuol, eithr a ddialid arnynt â'r gosp yma o gaethiwed. Yn y flwyddyn hon hefyd y mae tiroedd yn cael eu hadferyd i'w perchennogion cyntaf yn ol y drefn ganlynol: wedi dyfodiad y Jubilee, yr hwn enw sy 'n arwyddo rhyddid, yr hwn a werthodd y tir a'r hwn a'i prynodd a gyd-ymgyfarfyddant, gan wneuthur pris neu gyfrifiad ar un llaw o'r ffrwythau a gasglasid, ac ar y llaw arall y costau neu'r draul a osodid allan ynddo. Os y ffrwythau a gasglwyd a fyddai o fwy o werth na 'r draul a aeth o'i herwydd, yr hwn a'i gwerthodd sydd i gymmeryd y tir drachefn; ond os y costau a fydd fwy na'r ffrwythau, y meddiannydd presennol sydd i dderbyn gan y perchennog cyntaf y gwahaniaeth sydd yn eisiau, ac a âd y tir iddo ef; ond os y ffrwythau a dderbyniwyd, a'r gost a osodwyd allan a brofent yn gydradd, y meddiannydd presennol a'i gollwng i'r perchennog cyntaf. Moses a fynnai i'r un gyfraith gael lle ymherthynas i'r tai a werthid mewn pentrefi; ond efe a osododd gyfraith wahanol i'r rhai a werthid mewn dinas; canys os byddai i'r hwn a'i gwerthai gynnyg ei arian yn ol i'r pwrcaswr ym mhen y flwyddyn, gorfyddai ei adferyd iddo; ond os na ddeuai y gwerthwr a'r arian yn ol ym mhen y flwyddyn, y pwrcaswr ydoedd i fwynhau yr hyn a brynasai. Dyma osodiad y cyfreithiau a ddysgodd Moses gan Dduw, pan oedd y gwersyll yn aros dan fynydd Sinai; a hyn a draddododd efe yn ysgrifenedig i'r Hebreaid.

Yn awr pan ymddangosodd fod sefydliad y cyfreithiau hyn oll drosodd, tybiodd Moses yn gymmwys fwrw golwg dros y fyddin, mewn trefn i sefydlu achosion rhyfel; felly efe a orchymmynodd i bennau 'r llwythau, oddi eithr llwyth Lefi, i gymmeryd cyfrif cywir o rifedi y rhai hynny ag oedd yn alluog i fyned i ryfel;

* Lef. xxi. 11.

† Rhaid i ni sylwi yma gyd â Reland, fod y rheol a roddwyd i'r offeiriaid beidio ag yfed gwin tra byddai 'r gwisgoedd cyssegredig am danynt, yn gydradd a'u hymarbediad oddi wrtho tra y byddent yn gwasanaethu yn y deml, o herwydd y pryd hwnnw yn unig yr ydoedd y gwisgoedd hyn am danynt, y rhai a ddodid i fynu yno o'r naill amser o weinidogaethu hyd y llall.

‡ Lef. xxv. 1.

canys am y Lefiaid yr oeddynt hwy yn sanctaidd, ac yn rhyddion oddiwrth bob cyfryw feichiau. Yn awr, wedi rhifo 'r bobl, cafwyd o honynt chwe chan mil yn allnog i ryfela, o ugain hyd ddeg a deugain o oedran, heblaw tair mil, chwe chant a deg a deugain. Yn lle Lefi, Moses a gymmerodd Manasse, mab Joseph, ym mhlith pennau y llwythau, ac Ephraim yn lle Joseph. Dymuniad Jacob ei hunan ar Joseph ydoedd, roddi o hono iddo ef ei feibion i'w mabwysiadu,* megis yr adroddais o'r blaen.

Pan osodasant i fynu y tabernacl, hwy a'i derbyniasant i ganol y gwersyll; tri o'r llwythau a sefydlasant eu pebyll ar bob tu iddo, a ffyrdd a drefnwyd trwy ganol y pebyll hyn. Yr ydoedd yn debyg i farchnadfa, a phob peth oedd yno yn barod i'w gwerthu mewn iawn drefn, a phob rhyw gelfyddwyr yn ei siopau, ac nid oedd yn tebygu i ddim yn fwy nag i ddinas, ag ydoedd weithiau yn symmudol, ac amser arall yn sefydlog. Yr offeiriaid oedd â'r lleoedd agosaf ganddynt ynghylch y tabernacl; yna y Lefiaid, y rhai, o herwydd fod yr holl liaws o honynt, a gyfrifid uwch deng niwrnod ar hugain o oedran, yn dair mil ar hugain, wyth gant a phedwar ugain o wrrywiad; ac yn oed yr amser y safai y cwmmwl uwch ben y tabernacl, tybientyn addas iddynt drigo yn yr unlle, drwy ddychymmygu fod Duw yn preswylio yno ym mysg dynion: ond pan symmudai ymaith, hwythau hefyd a deithient yn y blaen.†

Moses hefyd ydoedd ddychmmygwr ffurf yr udgorn Hebreaidd, yr hwn a wnaed o arian. Ei hyd ydoedd lai nag un cufydd. Yr ydoedd yn wneuthuredig o bibell fain, ryw faint yn braffach na chwibanogl, ond gyd â chymmaint o led ag oedd ddigon i ollwng anadl o enau dyn i mewn; ei ben eithaf ydoedd ar lun cloch, a chyffelyb i udgyrn cyffredin. Ei lais a elwid yn Hebraeg, asosra. Yr ydoedd dau o honynt wedi eu gwneuthur; a phan roddid arwydd gan y cyntaf, yr oedd pennau y llwythau i ymgasglu ynghyd, i ymgynghori ynghylch yr achosion oedd yn perthynu yn briodol iddynt hwy; ond pan swniai y ddau, yr oeddynt yn galw y lliaws ynghyd, yr hyn a wnaed pan ydoedd y tabernacl i gael ei symmud. Wedi rhoddi yr ail arwydd, y rhai oedd ar yr ochr ddehau a wnaent yr un modd. Yn y lle nesaf y tabernacl a dynnid yn ddarnau, ac a ddygid yn y canol rhwng chwech o'r llwythau oedd yn myned o'r blaen, a'r chwech arall yn canlyn. Yna yr holl Lefiaid oeddynt yn amgylchu 'r tabernacl. Pan roddid y trydydd arwydd, y rhan hynny ag ydoedd a'u pebyll at y gorllewin a ymsymmudent; ac ar y pedwerydd arwydd,‡ y rhai ar ochr y gogledd a wnaent yr un modd. Hwy hefyd a arferent udgyrn yn eu gwasanaeth cyssegredig pan ddygent eu haberthau at yr allor, megis ar y sabbothau hefyd, ac eraill o ddyddiau gwylion. Ac yn awr y bu i Moses offrymmu yr aberth hwnnw a elwid y pasg, yn yr anialwch, megis y cyntaf a offrymmodd efe wedi yr ymadawiad o'r Aipht.

## PENNOD XIII.

*Am Symmudiad Moses o Fynydd Sinai, tu a Chyffiniau Gwlad y Canaaneaid.*

YCHYDIG o amser yn ol hynny, Moses a gyfododd, ac a aeth oddiwrth fynydd Sinai, gan fyned heibio i amrywiol drigfannau, am y rhai y cawn lefaru yn ebrwydd. Efe a ddaeth i le a elwid Haseroth, ym mha le y dyrfa drachefn a ddechreuasant fod yn rwgnachlyd, a'i feïo ef oblegid y gofidiau a gawsant yn eu teithiau; a phan annogasai efe hwynt i adael gwlad dda, hwy a gollasant ar unwaith y wlad honno; ac yn lle y sefyllfa ddedwydd yr oedd wedi ei addaw iddynt, yr oeddynt yn parhau i grwydro yn eu cyflwr truenus presennol, ac yn awr mewn diffyg o ddwfr; ac os digwyddai i'r manna fethu, yna byddai raid iddynt feirw o newyn: etto, tra 'r oeddynt yn llefaru pethau chwerwon yn erbyn y gŵr, yr ydoedd un yn eu cyngori i beidio a bod yn anystyriol o Moses, ac o'r llafur mawr a fuasai efe ynddo er eu diogelwch cyffredin, a pheidio ag anobeithio am gymmorth Duw. Y dyrfa, pa fodd bynnag, a ddaeth yn

* Llyfr II. pen. 8. † Exod. xl. 36, 37.
‡ Y ddau arwydd hyn ydynt yn eisiau yn yr Hebraeg a'r Samaritan, ond i'w cael yn y Septuagint megis yn Josephus.

fwy anllywodraethus, ac yn fwy tuchanllyd yn erbyn Moses nag o'r blaen: ar hyn Moses, er ymddwyn o honynt mor amharchus tu ag atto, efe a'u cyssurodd yn eu hamgylchiad anobeithiol, gan addaw ynnill iddynt helaethrwydd o gigfwyd, a hynny nid dros rai dyddiau yn unig, eithr dros lawer o ddyddiau; a phan na allent ei gredu, un o honynt a ofynodd iddo, o ba le y gallai gael y fath gyflawnder? efe a attebodd, "Ni fydd i Dduw nac i minnau, er clywed y fath eiriau enllibus gennych, adael heibio lafurio er llesâd i chwi, a hynny a ymddengys ar fyrder." Mor gynted ag y llefarodd hyn, yr holl wersyll a lanwyd â soflieir, a hwy a safasant o amgylch, ac a gasglasant fesur mawr o honynt. Pa fodd bynnag nid hir y bu, nes i Dduw gospi'r Hebreaid am eu trahausdra, a'r ymadroddion rhyfygus a ddywedasant i'w erbyn, canys bu feirw nid ychydig nifer o honynt; ac hyd y dydd hwn y mae'r lle yn cynnal coffadwriaeth o'u dinystr, ac a enwir Kibroth Hattaavah, yr hyn yw beddau'r blŷs.†

## PENNOD XIV.

*Am yr Yspïwyr a anfonwyd i chwilio Gwlad Canaan, â'r canlyniad o'u Cyhoeddiadau am dani.*

WEDI i Moses arwain yr Hebreaid i le a elwid Paran, yr hwn ydoedd yn agos i gyffiniau y Canaaneaid, ac yn lle anhawdd i wneud arosfa hir ynddo, efe a gasglodd y dyrfa ynghyd; a chan sefyll yn y canol, efe a ddywedodd, "Am y ddau beth a fwriadodd Duw gyfrannu i ni, sef rhyddid, a meddiant o wlad ddedwyddol; o un yr ydych yn awr yn gyfrannogion, trwy rad rodd Duw, a'r llall a feddiennwch yn ebrwydd, canys y mae'n preswylfod ni yn awr yn agos i gyffiniau tir Canaan; ac ni all dim ein lluddiais i'w hynnill hi, tra'r ydym yn awr o'r diwedd ar ymosod i'w herbyn. Dywedyd yr wyf, nid un brenin, neu ddinas, na chenhedlaethau o bobl, pe cydymgyfarfyddent, a allai ei wneuthur. Gadewch i ni, gan hynny, ymbarrottoi i'r gwaith, canys ni rydd y Canaaneaid eu tir i fynu i ni heb ymladd am dano; rhaid ei dynnu oddiwrthynt drwy ymdrechiad mawr mewn rhyfel. Gan hynny danfonwn edrychwyr i gymmeryd golwg ar ddaioni'r wlad, ac ar y cadernid sydd ynddi; ond uwchlaw'r cwbl, byddwn o un fryd, a rhoddwn anrhydedd i Dduw, yr hwn yw ein prif gynnorthwywr a'n hymddiffynwr."

Wedi llefaru o Moses y modd yma, boddlonodd y lliaws iddo gyd â nodau o barchedigaeth; a hwy a ddetholasant ddeuddeg o yspïwyr, o'r dynion godidoccaf yn eu mysg, un allan o bob llwyth; y rhai wedi myned dros dir Canaan, o gyffiniau'r Aipht, a ddaethant i'r ddinas Hamath ac i fynydd Lebanon; ac wedi deall o honynt naturiaethau y tir, a'i drigolion, hwy a a ddychwelasant i'w cartref, wedi treulio deugain niwrnod yn eu teithiau. Hwy hefyd a ddygasant gyd â hwynt o'r ffrwythau rhagorol y mae'r tir yn ei ddwyn, ac a roddasant gyfrif o'r helaethrwydd o bethau daionus a gynnwŷs y wlad, yr hyn oedd annogaeth i'r fyddin i ymbarottoi i ryfel: ond pan ddychrynasant hwynt drachefn ag adroddiad o'r anhawsdra mawr ydoedd i'w meddiannu hi; gan ddywedyd fod yr afonydd mor fawr a dyfn na ellid myned drwyddynt; y mynyddau oeddynt mor uchel na's gallent deithio ym mlaen ganddynt; a'r dinasoedd ydoedd wedi eu cadarnhau â muriau, ac amddiffynfeydd nerthol. Dywedasant hefyd wrthynt weled o honynt yn Hebron weddill y cawri. Ynganlynol yr yspïwyr hyn, y rhai a edrychasent wlad Canaan, pan ganfuasent fod yr holl anhawsderau a welsant yno, yn fwy nag a gyfarfu â hwynt wedi dyfod allan o'r Aipht, a ddychrynasant eu hunain, ac a geisiasant ddigalonni y dyrfa hefyd.

Oddiwrth yr hanes yma y bobl a ddychymygasant ei fod yn ammhossibl iddynt gael meddiant o'r wlad; a phan wasgarodd y gynnulleidfa, y gwŷr, ynghyd a'u gwragedd a'u plant a alarasant, fel pe na byddai i Dduw mewn gwirionedd eu cynnorthwyo hwynt, eithr yn unig addaw yn deg iddynt; darfu hefyd iddynt drachefn feïo ar Moses, a gwneuthur gwaedd yn ei erbyn ef a'i frawd Aaron, yr archoffeiriad; yn ganlynol hwy a dreuliasant y nos honno yn dra an-

† Num. xi. 34.

esmwyth, a chyd ag iaith gableddus yn eu herbyn; ond yn y boreu hwy a ymgrynhoisant ynghyd yn un lliaws, gan fwriadu llabyddio Moses ac Aaron, ac yna dychwelyd i'r Aipht.*

Ond o nifer yr yspïwyr yr ydoedd Joshua fab Nun, o lwyth Ephraim, a Caleb o lwyth Judah, y rhai oedd yn arswydo y canlyniad, ac a nesasant i'w canol hwynt, ac a lonyddasant y dyrfa, gan ddymuno iddynt ymdawelu, a pheidio a chamfarnu am Dduw, megis pe byddai yn eu twyllo hwynt, ac na wrandawent ar y rhai hynny a geisiasent eu dychrynu drwy adrodd yr hyn nid oedd wir am y Canaaneaid, ond i gredu y rhai a geisiasant eu hannog i obeithio am lwyddiant da; ac y byddai iddynt fwynhau y dedwyddwch a addawsid iddynt; o herwydd na allai uchder mynyddoedd, na dyfnder afonydd luddias dynion o feddyliau cadarn rhag anturio wynebu arnynt, yn enwedig tra fyddai Duw ym mlaenllaw yn gofalu drostynt, ac yn gynnorthwywr iddynt. "Awn ym mlaen gan hynny," ebe hwy, "yn erbyn ein gelynion, ac na ofnwch rhag aflwyddiant; ond hyderu ar Dduw i fod yn arweinydd i ni, a dilyn y rhai a drefnodd efe yn llywodraethwyr arnom." Fel hyn y darfu i'r ddau yma eu cynghori hwynt, ac ymdrechu i leihau y cynddaredd yr oeddynt ynddo. Ond Moses ac Aaron a syrthiasant ar y ddaear, ac a ymbiliasant ar Dduw, nid am eu gwaredigaeth eu hunain, ond bod iddo roddi attalfa i'r hyn ag oedd y bobl yn anniolchgar yn ei wneuthur; a bod iddo ddwyn eu meddyliau i dymmer amyneddgar, y rhai ydoedd yn awr wedi eu hanhrefnu trwy eu byrbwylldra presennol. Y cwmmwl hefyd yn awr a ymddangosodd, ac a safodd uwch ben y tabernacl, gan arwyddo presennoldeb Duw yno.†

## PENNOD XV.

*Am y gosp a fygythiwyd ar yr Israeliaid ar gyfrif eu gwrthryfelgarwch;—Cynllun o awdurdod ac effaith y Deddfwr Iuddewig.*

MOSES a ddaeth yn awr yn hŷ at y gynnulleidfa, ac a hyspysodd iddynt fod Duw wedi ei gyffroi wrth eu hammarch iddo, ac y gosodai gospedigaeth arnynt, nid y cyfryw yn wir ag ydoedd eu pechodau yn haeddu, ond cyffelyb i'r hyn a esyd rhïeni ar eu plant mewn trefn i'w ceryddu hwynt: canys, efe a ddywedodd, pan ydoedd yn eu tabernacl, yn wylo 'r dagrau oblegid y dinystr oedd i ddyfod arnynt, Duw a ddodasai yn ei feddwl pa bethau a wnaethai efe drostynt, a pha roddion a dderbyniasent hwy ganddo, ac etto mor anniolchgar yr oeddynt wedi ymddangos; eu bod yn awr wedi eu gogwyddo, drwy ofnau 'r cenhadau, i farnu eu geiriau hwy yn wirach na 'i addewid ei hun iddynt, ac mai ar y cyfrif hwn, na ddifethai hwynt oll, ac na lwyr ddilëai eu cenedl, y rhai a anrhydeddasai efe yn fwy nag un rhan arall o ddynolryw; na chaniattai efe iddynt gymmeryd meddiant o wlad Canaan, na mwynhau o'i dedwyddwch, ond a wnai iddynt grwydro yn yr anialwch, a byw heb breswylfeydd cartrefol, ac heb ddinasoedd am ddeugain mlynedd ynghyd, fel cospedigaeth am eu troseddiadau; eithr ar yr un pryd efe a addawodd roddi y tir hwnnw i'w plant, a chyfrannu iddynt y pethau daionus hynny a gollodd eu tadau drwy eu hamddygiad anllywodraethus.

Wedi i Moses draethu yn y modd hwn, yn ol y cyfarwyddyd a gawsai gan Dduw, y lliaws a ofidiwyd ac a drallodwyd, ac a ddeisyfasant ar Moses i erfyn am eu cymmod â Duw, ac i beidio a gadael iddynt grwydro yn hwy yn yr anialwch, ond i drefnu dinasoedd iddynt; ond efe a attebodd na chaniattäi Duw y fath ddymuniad, ac na chymmellwyd ef i'r cyfryw benderfyniad drwy anwadalwch dynol neu ddigter, ond iddo ef eu cyfiawn farnu i'r gospedigaeth hon. Yn awr, nid ydym i anghredu ddarfod i Moses, yr hwn nid oedd ond person unigol, larieiddio tymmerau cynnifer o filoedd pan oeddynt mewn digter, gan eu troi i nawseidd-dra; canys yr oedd Duw gyd ag ef, ac yn parottoi y ffordd i'w annogaethau i'r lliaws; ac fel y buasent hwy yn fynych yn anufudd, yr oeddynt yn awr yn teimlo fod y fath anufudd-dod yn anfanteisiol iddynt, a syrthio o honynt drwy hynny i gynnifer o drallodion.

* Num. xiv. 4. † xiv. 10.

Y gwr hwn ydoedd o rinwedd hynod yn wir, ac awdurdodol i wneuthur i ddynion gredu yr hyn a lefarai, nid yn unig yn oed amser ei fywyd naturiol; ond nid oes etto un o'r Hebreaid, yr hwn ni weithreda yn awr megis pe byddai Moses yn bresennol, ac yn barod i'w gospi os gwnai ddim yn amryfus; ïe, nid oes un nad yw yn addef ei ddyled i ufuddhau i'r cyfreithiau a ordeiniodd efe, er ysgatfydd iddynt fod yn guddiedig yn eu troseddiadau. Y mae hefyd amryw brofiadau yn dangos fod ei awdurdod ef yn fwy na dynol; canys rhai a ddaethai o'r parthau tu hwnt i Euphrates, yr hon sydd daith pedwar mis, drwy lawer o beryglon a chostau mawrion, o barch i'n teml; ac etto pan offrymment, ni allent gyfrannogi o'u haberthau eu hunain, o herwydd ei wahardd gan Moses, drwy ryw ran o'r gyfraith nad ydoedd yn ei ganiattäu iddynt, neu ryw beth a'i goddiweddodd hwynt, yr hyn yr oedd ein harferiadau hynafol yn ei wneud yn anghysson i gydsynio ag ef; fel drwy hynny na ddarfu i rai o honynt aberthu oll, ac eraill a adawsant eu haberthau mewn cyflwr amherffaith: ïe, llawer y waith gyntaf oedd hyd yn oed yn analluog i fyned i mewn i'r deml; ond a aethant i'w ffordd yn yr amgylchiad yma, gan ddewis ymostwng i gyfreithiau Moses o flaen cyflawni eu dymuniadau eu hunain, ïe pan nad oedd ofn arnynt rhag neb i'w cyhuddo hwynt, ond yn unig o barch i'w cydwybod eu hunain: felly y deddfau hyn y rhai a ymddangosasant eu bod yn ddwyfol, a barodd i'r gwr hwn gael ei gyfrif megis un uwchlaw ei natur ddynol ei hun. Ië, ymhellach, ychydig cyn dechreuad y rhyfel hwn, pan oedd Claudius yn ymerawdr Rhufain, ac Ismael yn archoffeiriad i ni, a phan oedd y fath newyn mawr * wedi dyfod arnom, fel yr oedd yr un degfed ran o wenith yn cael ei werthu am bedair drachmæ, a phan na ddygwyd llai na deg a thrugain Cori † o beilliad i'r deml ar ŵyl y bara croyw, nid oedd un o'r offeiriaid mor galed galon a chymmeryd mwydionyn o hono at eu cynnaliaeth eu hunain, tra 'r ydoedd y fath gyfyngdra drwy 'r holl dir; a hynny o herwydd eu harswyd o'r gyfraith, ac o'r digofaint hynny y mae Duw yn ei ddal yn erbyn gweithredoedd drwg, ïe pan na allo un dyn gyhuddo y gweithredwyr: oddi yma ni ddylem ryfeddu wrth yr hyn a wnaethpwyd y pryd hynny, tra yn y dyddiau yma y mae i'r ysgrifeniadau a adawyd gan Moses y fath rym ac awdurdod, fel y mae hyd yn oed ein caseion yn cyffesu, mai y neb a sefydlodd y gosodedigaethau hyn ydoedd Duw, a hynny drwy offerynoldeb Moses a'i rinweddau.

* Y newyn mawr yma, fel y mae Dr. Hudson yn sylwi, yn nyddiau Claudius, a grybwyllir drachefn yn yr Hynafiaethau, XX. 4. ac yn Act. xi. 28. megis hefyd gan Tacitus, Phlegon, Dio, ac Affricanus.

† Y cori hwn sydd un ar ddeg ar hugain o Sicilian, a dau a deugain o Athenion medimni.

---

# LLYFR IV.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddeunaw Mlynedd ar Hugain.*

O WRTHODIAD Y GENEDL IUDDEWIG YN YR ANIALWCH, HYD FARWOLAETH MOSES.

## PENNOD I.

*Am y Frwydr a gymmerodd le rhwng yr Hebreaid a'r Canaaneaid, heb gydsyniad Moses.*

SEFYLLFA 'r Hebreaid yn yr anialwch ydoedd mor annymunol iddynt, a hwythau mor flin o'i herwydd, fel, er gwahardd iddynt gan Dduw na chyffyrddent â'r Canaaneaid, etto ni ellid eu perswadio i fod yn ufudd i eiriau Moses, ac yn llonydd; ond gan feddwl eu bod yn alluog i drechu eu gelynion heb ei gyfarwyddid ef, hwy a ddechreuasant ei gyhuddo, a bwrw ei fod yn ei wneud yn orchwyl iddo i'w cadw hwynt mewn cyflwr o gyfyngder, fel y byddent yn ddarostyngedig i geisio, o angenrheidrwydd, ei gynnorthwy ef. Yn ganlynol, hwy a bender-

fynasant ymladd â'r Canaaneaid, gan ddywedyd y rhoddai Duw ei gymmorth iddynt, nid ymherthynas i eiriolaeth eu harweinydd, ond o herwydd ei fod ei hun yn gofalu am eu holl genedl, o herwydd eu tadau neu hynafiaid; achosion pa rai yr oedd yn cymmeryd arno eu trefnu ei hun: megis hefyd mai ar gyfrif eu rhinwedd eu hunain yr oedd efe wedi eu dwyn i rydd-did, ac y rhoddai gymmorth iddynt, a hwy yn awr yn ewyllysgar i lafurio am dano. Dywedasant hefyd, eu bod hwy o allu digonol eu hunain i fuddugoliaethu ar eu gelynion, er pe byddai Moses a thuedd ganddo i ddieithro Duw oddiwrthynt; ac pa fodd bynnag yr oedd yn fanteisiol iddynt i fod yn hunain-lywodraethwyr, ac nid mor bell i lawenychu yn eu gwaredigaeth oddiwrth yr amharch a ddioddefasant dan yr Aiphtiaid, ag i ddioddef gorthrymder dan Moses, ac ymostwng i gymmeryd eu twyllo, ac i fyw yn ol ei ewyllys ef: megis pe buasai Duw yn unig yn rhagfynegi yr hyn a berthynai iddynt hwy oddiar gariad iddo ef; ac megis pe na buasant hwy oll yn hiliogaeth Abraham, a gwneuthur o Dduw ef yn unig yn awdwr eu holl wybodaeth, a bod yn rhaid iddynt hwy ei dysgu ganddo ef. Dywedasant fod yn gallineb i wrthsefyll ei ymchwydd ef, a rhoddi eu hyder ar Dduw; ac ymroddi i gymmeryd meddiant o'r wlad a addawsai efe iddynt, a pheidio a rhoddi clust-ymwrandawiad iddo ef, yr hwn ar y cyfrif yma, a than esgus o ddwyfol awdurdod, a waharddodd iddynt wneuthur felly. Wrth ystyried, gan hynny, y cyflwr gresynus yr oeddynt ynddo yn bresennol, a bod yn rhaid iddynt etto ddisgwyl pethau gwaeth i'w cyfarfod yn y fath ddiffeithwch; hwy a benderfynasant ymladd â'r Canaaneaid; gan ymostwng yn unig i Dduw eu pen-llywydd, ac heb ddisgwyl am gyfarwyddyd eu deddfwr.

Wedi eu dyfod i'r penderfyniad hwn, hwy a aethant yn erbyn eu gelynion; eithr ni frawychodd y gelynion hynny wrth yr ymosodiad hwn arnynt, nac wrth amldra y lliaws oedd yn ei wneuthur: ond derbyniasant hwy gyd â'r fath gefnogrwydd, fel y lladdwyd amryw o'r Hebreaid, a gweddill y fyddin, wedi myned i annrhefn, a erlidiwyd; ac a ffoisant mewn dull cywilyddus * i'w gwersyll. Ar hyn, yr anhap annisgwyliadwy hwn a wnaeth iddynt hollol anobeithio, ac ni ddisgwylient rhagllaw am ddim daioni; gan gasglu oddiwrth hyn, i'r trallod yma ddyfod arnynt oddiwrth anfoddlonrwydd Duw, oblegid iddynt yn fyrbwyll fyned allan i ryfel heb ei gymmeradwyad ef.

Pan welodd Moses hwy mewn trallod mor fawr oblegid eu gorchfygu yn y modd uchod; a phan ydoedd mewn ofn rhag i'r gelynion dyfu yn drahaus wrth y fuddugoliaeth hon, a'u gorddiwes hwy mewn trefn i ynnill etto fwy o oruchafiaeth arnynt; penderfynodd dynnu yn ol gyd â'r fyddin i'r anialwch, ac i ychwaneg o belldra oddiwrth y Canaaneaid. Felly y lliaws a roddasant eu hunain drachefn i fynu dan ei dywysiad ef, canys yr oeddynt yn deimladwy, mai heb ei ofal ef na allai eu hamgylchiadau hwy fod yn gyssurus: felly efe a barodd i'r dyrfa ymsymmud, ac a'u dygodd ymhellach i'r anialwch; gan fwriadu iddynt orphwys yno, a pheidio a rhoddi cennad iddynt i ymladd â'r Canaaneaid cyn i Dduw drefnu cyfleusdra mwy manteisiol iddynt.

## PENNOD II.

*Am ymrysoniad Corah a'r Gynnulleidfa, yn erbyn Moses ac Aaron, ymherthynas i'r Offeiriadaeth.*

YR hyn sydd arferol o gymmeryd lle yn amgylchiad byddinoedd lliosog, yn enwedig ar eu hafiwyddiant, sef, bod yn anhawdd eu boddhau a'u llywodraethu, yn awr a oddiweddodd yr Iuddewon: * canys a hwy mewn rhifedi yn chwe' chan' mil, ac o herwydd eu lliosowgrwydd yn anhawdd eu cadw dan ymostyngiad i'w llywodraethwyr, ïe mewn amser o lwyddiant, yr oeddynt y pryd hwn yn fwy digllon nag arferol, yn gystal yn erbyn y naill a'r llall, ac yn erbyn eu harweinydd, o herwydd y cyfyngder yr oeddynt ynddo, a'r blinderau ydoedd yn eu cyfarfod: ar ba gyfrif y fath amryfusedd a'u

* Num. xiv. 45.

† Ynghylch Bl. 1512.

goddiweddodd hwynt, fel nad oes hanes gennym am gyffelyb siampl ym mhlith y Groegiaid na 'r Barbariaid; drwy'r moddion hyn yr oeddynt mewn perygl o gael eu dinystrio oll, eithr a achubwyd er hynny gan Moses, yr hwn ni chofiai ei fod yn agos a chael ei labyddio i farwolaeth ganddynt, ac ni esgeulusodd Duw ragflaenu eu dinystr; ond er yr ammharch a gynnygiasant i'w deddfwr a'r cyfreithiau, a'u hannufudd-dod i'r gorchymmynion a roddasai efe iddynt drwy Moses, efe a'u gwaredodd rhag y trallodion arswydus hynny, y rhai, oni buasai ei ofal rhagluniaethol ef, a ddygasid arnynt drwy 'r terfysgoedd hyn; felly mi egluraf yn gyntaf yr achos o herwydd pa un y cyfododd y terfysg hwn, ac yna rhoddaf hanes am y terfysg neu 'r brad-fwriad ei hun; ac hefyd pa sefydliadau a wnaeth Moses i'w llywodraethu hwynt pan aeth drosodd.

Corah, yr hwn ydoedd Hebrewr cyfrifol ymherthynas i'w deulu a'i gyfoeth, pa un oedd a doniau ganddo hefyd i ymadroddi yn awdurdodol, ac a fedrai yn hawdd berswadio y bobl â'i areithiau, a welodd fod Moses mewn dyrchafiad tra rhagorol, yr hyn a'i hanesmwythäodd, ac a barodd iddo gynfigennu tu ag atto ar y cyfrif hwnnw: yr oedd efe o'r un llwyth a Moses, ac yn berthynas iddo. Gofidiodd yn neillduol o herwydd tybied o hono ei hun yn fwy teilwng o'r fath sefyllfa anrhydeddus, fel yr oedd yn gyfoethoccach, ac heb fod o is radd mewn gwaedoliaeth; felly efe a gyfododd gynnwrf i'w erbyn ym mhlith y Lefiaid, y rhai ydoedd o'r un llwyth, ac yn enwedig ym mysg ei berthynasau agosaf, gan ddywedyd, mai peth athrist ydoedd eu bod yn goddef Moses i fyned ym mlaen, tra'r oedd yn ceisio ac yn trefnu ffordd i'w ogoneddu ei hun, a thrwy ddyfais ddichellgar yn ei ynnill, dan esgus o wneuthur yn ol gorchymmyn Duw; pan, yn wrthwyneb i'r cyfreithiau, efe a roddasai yr offeiriadaeth i Aaron, nid drwy gyd-syniad cyffredin y dyrfa, ond wrth ei ewyllys ei hun, ac megis yn gosod mewn gornchafiaeth, drwy awdurdod orthrymmus, y rhai a welai yn dda ei hun. Efe a chwanegodd, fod y ffordd guddiedig yma o wneuthur twyll iddynt yn anhaws i gyd-ddwyn â hi, na phe buasai drwy ymosodiad cyhoedd i'w herbyn; o herwydd ei fod nid yn unig yn cymmeryd oddi wrthynt eu hawdurdod heb eu cydsyniad, eithr pan oeddynt yn ddifeddwl am ei ddichellion i'w herbyn; canys pwy bynnag sy'n gydwybodol iddo ei hun ei fod yn haeddu rhyw dderchafiad, a amcana ei gael drwy ddadleuaeth, ac nid mewn ffordd falchïaidd a gorthrymmus. Ond y rhai sydd yn ei olygu yn ammhosibl i ddyfod i feddiant o'r anrhydedd yma mewn ffordd gyfiawn, a wnant ddangosiad o ddaioni, heb ddefnyddio awdurdod, eithr drwy gyfrwysdra dichellgar a dyfant yn annuwiol alluog. Ei fod yn gymmwys i'r lliaws gospi y fath ddynion, tra y bwriadont hwy guddio eu hamcanion, a pheidio a'u goddef i ymgryfhau nes eu myned yn elynion cyhoeddus:

"Pa gyfrif," eb efe, "a all Moses ei roddi am sefydlu yr offeiriadaeth ar Aaron a'i feibion? canys os arfaethodd Duw osod yr anrhydedd hwnnw ar un o lwyth Lefi, myfi ydwyf fwy teilwng o hono nag efe, gan fy mod yn gydradd â Moses o ran fy nheulu, ac yn rhagori arno ef mewn cyfoeth ac oedran. Ond pe buasai Duw yn bwriadu ei gyfrannu i'r llwyth hynaf, Reubel ydoedd gyfiawnaf o gael ei feddiannu: ac yna Dathan ac Abiram, ac On fab Peleth a'i cawsai. Canys y rhai hyn yw y gwŷr hynaf o'r llwyth hwnnw; a galluog ar gyfrif eu helaethrwydd o gyfoeth hefyd."

Yn awr, Corah wrth lefaru fel hyn, a ewyllysiai ymddangos megis yn gofalu am lwyddiant y cyffredin, ond mewn gwirionedd ymdrechu yr ydoedd i ynnill y mawredd hwnnw, wedi ei drosglwyddo gan y dyrfa iddo ei hun. Ac fel hyn y darfu iddo o fwriad maleisus, ond â geiriau teg, areithio wrthynt hwy o'i lwyth ei hun. Ac wedi i'r ymadroddion hyn yn raddol ymdaenu ymhellach ym mhlith ychwaneg o'r bobl, a'r gwrandawyr yn chwanegu at yr hyn a dueddai i ddifrïo Aaron; yr holl gynnulleidfa ydoedd lawn o honynt. Yn awr o'r rhai a gydfradwriaethasant gyd â Corah yr ydoedd dau cant a deg a deugain o wŷr enwog, y rhai oeddynt yn awyddus i gael yr offeiriadaeth

wedi ei symmud oddi wrth frawd Moses, a'i ddwyn ef i waradwydd. Ië, y lliaws ynghyd a gynnyrfiasid i fradwriaeth, ac a geisiasant labyddio Moses; ac a ymgynnullasant ynghyd mewn byrbwylldra ac annhrefn. Ac yn awr yr oeddynt oll mewn cythrwfl, yn codi gwaedd o amgylch y tabernacl, i gael ymosod ar y gorthrymmwr, a rhyddhau y gynnulleidfa o'i chaethiwed dano ef, yr hwn dan liw o orchymmyn dwyfol, a osodasai rwymau gorthrymmus arnynt hwy. Canys pe Duw a ddewisasai un i wneuthur swydd offeiriad, efe a gyfodasai ryw un ag oedd a gradd o deilyngdod ynddo i'r fath dderchafiad; ac ni chymmerasai un ag oedd o is radd na llawer eraill, i'w osod yn y swydd honno: a phe buasai yn ei farnu yn gymmwys i'w rhoddi i Aaron, efe a ganiattasai i'r gynnulleidfa roddi ei chydsyniad i hynny, ac nid ei adael yn unig ar ei frawd ei hun i'w chyfrannu.

Yn awr, er fod Moses er 's hir amser yn rhagweled yr enllib hwn o eiddo Corah, ac yn canfod y bobl yn ymderfysgu o'i herwydd, etto ni frawychodd ef o'i herwydd, ond gan fod yn hyderus ddarfod iddo roddi cyngor da iddynt ynghylch eu hachosion; a chan wybod wneuthur ei frawd yn gyfrannog o'r offeiriadaeth wrth orchymmyn Duw, ac nid drwy ei ffafr ei hun, efe a nesâodd at y dyrfa: ac, ymherthynas i'r lliaws, ni ynganodd efe air wrthynt hwy; ond efe a lefarodd mor uchel ag a fedrai wrth Corah; a chan fod yn dra ymadroddus, ac yn feddiannol o'r fath ddawn naturiol ym mysg eraill, fel yr ynillai y gynnulleidfa â'i resymmau: efe a ddywedodd, "O Corah, tydi, a'r rhai hyn oll sydd gyd â thi, (gan bennodi y ddau can wr a deg a deugain,) ydych yn ymddangos yn deilwng o'r anrhydedd hwn. Ac nid wyf fi yn dadleu nad yw 'r holl gynnulleidfa yma yn addas i feddiannu y fath swydd anrhydeddus, er o bossibl nad ydynt mor gyfoethog ac mor fawr â chwi. Ac ni osodais i y swydd yma i'm brawd, o herwydd ei fod yn helaethach ei gyfoeth nag eraill; canys yr wyt ti yn rhagori* ar bob un o honom ym mawredd dy gyfoeth: nag yn wir o herwydd ei fod o deulu godidog, canys Duw, drwy drefnu i ni yr un tad cyffredin o ran hynafiaeth, a wnaeth ein teuluoedd yn gydradd; ïe, nid o serchowgrwydd brawdol yr ydoedd, yr hyn a allasai arall yn gyfiawn ei wneuthur. Canys yn sicr pe na buaswn yn cyfrannu yr anrhydedd yma o barch i Dduw a'i gyfreithiau, ni fuaswn yn myned heibio im' fy hun, ac yn ei roddi i arall.

Ond yr wyf fi uwchlaw y fath arferion: ac ni fuasai Duw yn goddef hyn heb sylwi arno, a'i weled ei hun y modd y mae yn cael ei ddirmygu: ac ni buasai efe yn goddef i chwi fod yn anwybodus o'r hyn ag oeddych i'w wneuthur, i'r diben i'w foddloni ef. Ond efe ei hun a ddewisodd un i wasanaethu y swydd gyssegredig hon, a thrwy hynny a'n rhyddhaodd ni oddiwrth y gofal hwnnw. Felly nid peth a gymmerais i arnaf ei gyfrannu ydoedd, ond yn unig mewn canlyniad i ordinhad Duw. Yr wyf gan hynny yn ei gynnyg i wneud ymrysoniad etto am dano, i'r cyfryw a osodant i mewn eu hawl iddo; yn unig dymuno ei fod ef, yr hwn a ddewiswyd eisoes ac a'i meddiannodd, gael caniattâd yn awr hefyd i gynnyg ei hun yn ymgeisydd. Mae 'n fwy dewisol ganddo eich heddwch, a'ch ymddygiad anymrysongar, nag anrhydedd y swydd hon; er, mewn gwirionedd, mai drwy eich cydsyniad y cafodd efe hi. Canys er mai Duw oedd y prif-drefnwr, etto nid ydym ni yn troseddu pan welom yn addas wneud derbyniad o honi gyd â'ch ewyllys da chwi Etto fe fuasai yn arwydd o annuwioldeb, i ballu cymmeryd arnom y swydd anrhydeddus honno pan oedd efe yn ei chynnyg: ïe, fe fuasai yn dra afresymmol, pan welodd Duw yn gymmwys i ryw un ei chael dros amser i ddyfod, ac wedi ei sicrhau a'i chadarnhau iddo, a bod iddo yntau ei gwrthod. Pa fodd bynnag, efe ei hun a farna drachefn pwy fydd yr hwn a fynnai efe i offrymmu aberthau iddo, ac i feddiannu y blaenoriaeth mewn matterion crefyddol. Canys anghallineb ydyw i Corah, yr hwn sy 'n awyddus i'r anrhydedd hwn, gynnyg difeddiannu Duw o'r awdurdod, i'w chyfrannu i'r neb a wel efe yn dda.

* Y mae Reland yma 'n sylwi, er nad yw ein Biblau yn dywedyd ond ychydig neu ddim am oludowgrwydd Corah, etto yr Iuddewon a'r Mahometaniaid, yn gystal a Josephus, ydynt lawn o hono.

Gosodwch derfyn, gan hynny, ar eich ymrysoniad, a'ch terfysg ar y cyfrif hwn; a'r boreu y foru bydded i bob un ag sydd yn chwennych yr offeiriadaeth ddwyn thuser gyd ag ef o'i gartref, a dyfod yma gyd ag arogl-darth a thân. † A bydded i ti, O Corah, adael Duw i farnu: ac aros i weled ar bwy ochr y gesyd efe benderfyniad ar yr achos hwn. Ond na fydded i ti wneud dy hun yn fwy na Duw. Tyred dy hunan hefyd yma, fel y bo i'r ymryson ynghylch y swydd anrhydeddus hon gael ei benderfynu. Ac yr wyf yn tybied y gallwn dderbyn Aaron yn ddidramgwydd i gynnyg ei hun ar y profiad yma, gan ei fod ef o'r un achau â thi dy hun, ac ni wnaeth yn ei offeiriadaeth ddim yn haeddiannol o lysiant. Deuwch chwi, gan hynny, ynghyd, ac offrymmwch eich arogl-darth yn gyhoeddus ger bron y bobl; ac wedi yr offrymmoch, efe, yr hwn y derbynio Duw ei offrwm, a ordeinir i'r offeiriadaeth, ac a lanheir oddwrth yr enllib presennol ar Aaron, megis pe trwy fy ffafr i, fel ei frawd, y gosodasid ef yn y swydd offeiriadol.

## PENNOD III.

*Am ddinystr Awdwyr yr Anghydfod, a thystiolaetho Ddwyfol appwyntiad Offeiriadaeth Aaron.*

WEDI i Moses ddywedyd hyn, y lliaws a roddasant heibio yr ymddygiad terfysglyd a ddangosasant, a'r amheuaeth a gynnwysasant am Moses, gan ganmawl yr hyn a ddywedasai efe; canys y cynnygiadau hyn ydoedd dda, ac a gyfrifid felly gan y bobl. Y pryd hynny gwasgarwyd y dyrfa. Ond ar y dydd nesaf hwy a ddaethant drachefn i'r gynnulleidfa, mewn trefn i fod yn bresennol ar yr aberthiad; a'r penderfyniad ydoedd i gael ei wneuthur rhwng ymgeiswyr yr offeiriadaeth. Yn awr, y gynnulleidfa hon a dyfodd yn dra therfysglyd, a'r lliaws ydoedd mewn amheuaeth mawr yn eu disgwyliad am yr hyn a gyflawnid. A rhai o honynt a foddhasid pe argyhoeddasid Moses o ddrwg arferion: ond y rhai callaf o honynt a ddymunasant gael eu gwaredu oddiwrth y presennol annhrefn a therfysg; canys yr oeddynt yn arswydo os dilynai yr ymrysonfa yma ymlaen, y dinystrid iawn drefn eu sefydliad. Ond y rhan fwyaf o gorph o bobl ydynt naturiol i ymbleseru mewn anghydfod ac achwyniaeth yn erbyn eu llywodraethwyr; a thrwy newid eu tybiau wrth araithyddiaeth pob ymresymwr diweddaf, hwy a aflonyddant yr heddwch cyffredin. Ac yn awr Moses a anfonodd genhadon i gyrchu Dathan ac Abiram, gyd â gwahoddiad iddynt i ddyfod i'r gynnulleidfa, a disgwyl yno am y swyddau sanctaidd ag oedd i gael eu cyflawni. Ond hwy a attebasant y cenhadwyr na ufuddhaent i'w orchymmyn; ïe, na edrychent heibio i ymddygiad Moses, yr hwn oedd yn cynnyddu yn rhy fawr iddynt hwy trwy ddrwg ymarferion. Yn awr, pan glybu Moses yr attebiad hwn, efe a ddymunodd ar bennaethiaid y bobl ei ddilyn ef, ac efe a aeth at blaid Dathan, heb arswydo nesâu at y bobl drahaus hynny; felly ni wnaeth pennau'r bobl un gwrthwynebiad, ond a aethant gyd ag ef. Ond Dathan a'i gyfeillion, pan ddeallasant fod Moses, a phennaethiaid y bobl yn dyfod attynt, a ddaethant allan gyd â'u gwragedd a'u plant, ac a safasant o flaen eu pebyll; gan edrych a chraffu ar Moses pa beth a wnai efe. Yr oedd ganddynt eu gwasanaeth-ddynion hefyd gerllaw i'w hamddiffyn hwynt, os ymosodai Moses arnynt.

Eithr efe a nesaodd, ac a dderchafodd ei ddwylaw tu a'r nefoedd, ac a lefodd â llais uchel, mewn trefn i'w glywed gan yr holl liaws, ac a ddywedodd, "O Arglwydd yr holl greaduriaid ag sydd yn y nefoedd, y ddaear, a'r mor; tydi wyt dyst mwyaf cywir o'r hyn a wnaethym i, ei wneuthur yn ol dy orchymmyn di, a thrwy dy gymmorth di, a'r hwn wyt wedi dangos trugaredd i'r Hebreaid yn eu holl gyfyngderau. Tyred, O Arglwydd, yn awr, a gwrando yr hyn oll a lefarwyf; canys nid oes un weithred na meddwl yn diangc heb dy sulw di; felly nid wyt yn diystyru yr hyn sydd wir er fy hunan amddiffyniad; heb edrych ar y peth a esyd y dynion hyn yn anniolchgar yn fy erbyn. Am yr hyn a wnaethpwyd cyn fy ngeni tydi a'i gwyddost oreu; nid trwy glywed am danynt, eithr eu gweled, a bod yn bresennol pan wnaed

* Num. xiv. 6, 7.

hwynt. Ond am yr hyn yn ddiweddar a wnaethpwyd, ar hyn y mae y dynion yma, er eu gwybod yn dda, yn cymmeryd arnynt ammau eu hawdurdod, bydd di yn dyst i mi. Pan oeddwn yn byw mewn sefyllfa unigol a heddychlon, mi adewais y pethau daionus hynny, y rhai drwy fy niwydrwydd fy hun a'th gyngor di, a fwynhëais gyd â Raguel, fy nhad-ynghyfraith; ac mi a roddais fy hun i fynu i'r bobl hyn, ac a oddefais lawer o gyfyngderau er eu mwyn hwy. Myfi hefyd a lafuriais yn galed drostynt: yn gyntaf, mewn trefn i gael rhydd-did iddynt, ac yn awr i'r diben o'u cadwedigaeth: ac a ddangosais fy hun bob amser yn barod i'w cynnorthwyo ym mhob cyfyngderau. Yn awr, gan hynny, tra 'r ydwyf fi yn cael fy ammau gan y dynion hyn, diogelwch pa rai sydd yn ddyledus i'm llafur drostynt; tyred di, megis y mae'n rhesymmol i obeithio y deui; tydi, meddaf, yr hwn a ddangosaist i mi y fflam dân hynny ym mynydd Sinai, a pheri i mi glywed y llais, a gweled amrywiol ryfeddodau a ddangosid yn y lle hwnnw; tydi, yr hwn a orchymmynaist i mi fyned i'r Aipht, a thystiolaethu dy ewyllys i'r bobl hyn; tydi, yr hwn a derfysgaist gyflwr dedwydd yr Aiphtiaid, ac a drefnaist i ni gyfleusdra i ddiangc o'u caethiwed danynt hwy, ac a ddarostyngaist arglwyddiaeth Pharaoh islaw ein llywodraeth ni; tydi, yr hwn a wnaethost y môr yn sychdir i ni, pan na wyddem pa le i fyned, ac a ddarfu orchuddio yr Aiphtiaid â'r tonnau dinystriol a wasgarasid i ni: tydi, yr hwn a drefnaist i ni amddiffyniad arfau, pan oeddym mewn noethni a diffyg o honynt; tydi, yr hwn a wnaethost i ffynnonau ammhûr a lleidiog o ddwfr chwerw ddychwelyd yn groyw, fel yr oedd yn gymmwys i'w yfed, ac a'n diwallaist â dwfr peraidd a ffrydiodd allan o'r graig, pan oeddym mewn angen mwyaf am dano; tydi, yr hwn a anfonaist soflieir o'r môr yn fwyd i ni, pan ydoedd ffrwyth y ddaear yn pallu; tydi, yr hwn a anfonaist i ni y fath ymborth o'r nefoedd, na welwyd ei gyffelyb o'r blaen; tydi, yr hwn a ddysgaist i ni ddeall dy gyfraith, ac a ordeiniaist drefn ein llywodraeth: Tyred di, O Arglwydd yr holl fydoedd, a hynny fel barnwr ac fel tyst gyd â mi, yr hwn ni ellir dy obrwyo, a dangos y modd na ddarfu i minnau erioed wneud derbyniad o rodd i ŵyro cyfiawnder yn erbyn yr Hebreaid; ac na cham-farnais y tlawd a ddylesid ei ollwng yn rhydd, ar gyfrif un cyfoethog; ac na anturiais erioed ddrygu achosion fy nghenedl hon: Yr wyf, yn awr, yma yn bresennol, ac a'm dychymmygir yn euog o'r peth ag oedd bellaf oddiwrth fy mwriadau, sef, rhoddi o honof yr offeiriadaeth i Aaron, nid wrth dy orchymmyn di, ond o herwydd fy ffafr fy hun iddo ef. Bydded i ti y pryd hwn ddangos, fod pob peth yn cael eu gweini yn ol trefn dy ragluniaeth, ac na ddigwydd dim o ddamwain, ond a lywodraethir gan dy ewyllys di, a thrwy hynny yn atteb ei ddiben: a dangos hefyd dy fod yn gofalu am y rhai a wnaethant ddaioni i'r Hebreaid. Dangos hyn, meddaf, drwy gospedigaeth Abiram a Dathan, y rhai a'th farnant di fel bod annheimladol, ac un a lywodraethir gan fy rhesymmau i. Hyn a wnai drwy anfon y fath gospedigaeth amlwg ar y dynion yma, y rhai mor wallgofus a neidiasant yn wyneb dy ogoniant, ag a'u symmud allan o'r byd, a hynny nid mewn dull cyffredin, ond fel yr ymddangoso na bu eu marwolaeth yn debyg i eraill wrth ymadael â'r byd; bydded i'r llawr y maent yn sengi arno ymagor o'u hamgylch, ynghyd â'u teuluoedd a'u heiddo. Hyn a ddengys dy allu i bob dyn; a'r dull hynny o'u dioddefiadau a fydd yn addysg o ddoethineb i'r rhai a gynnwys syniadau anaddas am danat ti. Drwy 'r modd hwn y dangosir finnau yn was ffyddlon ymherthynas i'r deddfau a osodaist i mi. Ond os yw yr enllibau a godasant i'm herbyn yn wir, gwareder y dynion yma oddiwrth bob drwg ddamwain, a dened yr holl ddistryw hynny arnaf fi a grybwyllais iddynt hwy. A phan osodech gosp ar y rhai a ymdrechasant i ymddwyn yn anghyfiawn tu ag at y bobl hyn, cyfranna iddynt undeb a thangnefedd. Achub y dyrfa hon ag sydd yn dilyn dy orchymmynion, a chadw hwynt yn rhydd oddiwrth bob niweid: ac na chyfrannogent hwy o gospedigaeth y rhai a bechasant. Canys ti a wyddost dy hun, nad yw gyfiawn i holl gorph yr Israeliaid ddioddef

cospedigaeth oblegid drygioni y bobl hyn.

Wedi i Moses ddywedyd hyn, â dagrau yn ei lygaid, y llawr a ymsymmudodd yn ddisymmwth; a'r sŵn a'i gosododd mewn cynnwrf ydoedd debyg i'r hyn a wna gwynt nerthol ym mysg tonnau 'r môr. Y bobl oll a ddychrynasant, a'r llawr oedd o amgylch eu pebyll a suddodd i lawr wrth y sŵn dychrynllyd hwnnw, ac a gymmerodd bob peth oedd berthynol i'r ymrysonwyr i mewn iddo ei hun; y rhai mor llwyr a ddifethwyd, fel nad oedd yr ymddangosiad lleiaf o sefyllfa neb rhyw ddynion yn y fan honno; y ddaear a ymagorasai o'u hamgylch, gan gau arnynt drachefn, a myned yn gyfan megis o'r blaen; yn gymmaint nad oedd y rhai a'i gwelodd yn ol hynny, yn canfod tebygolrwydd fod un o'r cyffelyb ddamweiniau wedi digwydd. Fel hyn y darfu am y gwŷr yma,* ac yn siamplau dychrynllyd o farn a gallu Duw. Ac yn wir gallasai pawb wylo drostynt, nid yn unig oblegid y trallod hwn a'u goddiweddodd, yr hwn sydd etto yn haeddiannol o'n hystyriaeth; ond hefyd o herwydd fod eu cyfneseifiaid yn foddlon i'w dioddefiadau; canys hwy a anghofiasant y berthynas oedd rhyngddynt; eithr ar yr olwg o'r digwyddiad alaethus hwn, hwy a gydsyniasant â'r farn a roddwyd i'w herbyn; ac o herwydd eu bod yn edrych ar y bobl o amgylch Dathan fel pla 'r gynnulleidfa, yr oeddynt yn eu golygu yn marw fel y cyfryw, ac yn ddi-alar o'u plegid.

Moses yn awr a alwodd am y rhai a ymrysonent am yr offeiriadaeth, fel y byddai i brawf gael ei wneuthur pwy a fyddai yn offeiriad; ac y byddai i'r hwn a foddlonai Duw fwyaf â'i aberth gael ei osod yn y swydd gyssegredig honno. Felly y dau cant a deg a deugain o wŷr a nesasant, y rhai yn wir a anrhydeddid gan y bobl, nid yn unig ar gyfrif eu hynafiaid, ond hefyd o herwydd eu henwogrwydd eu hunain, yn yr hyn yr oeddynt yn rhagori ar eraill. Aaron a Corah a ddaethant hefyd ym mlaen; a hwy oll a offrymasant arogldarth, yn y thuserau a ddygasant gyd â hwynt o flaen y tabernacl. Ar hyn y fath dân mawr a gynneuodd allan, na welsai neb ei gyffelyb wedi ei wneud â dwylaw dynol, neu ychwaith yn tarddu o dyllau llosgadwy yn rhyw fannau o'r ddaear; neu 'r fath dân ag a gyfyd o hono ei hun mewn coedwig, pan y cynnyrfir i hynny gan y coed yn ymrwbio y naill yn erbyn y llall; ond y tân hwn ydoedd dra disglaer ac angerddol, y cyfryw ag a oleuwyd wrth orchymmyn Duw; drwy ruthriad pa un arnynt oll, Corah ei hun, ynghyd â'i gymdeithion, a ddifäwyd † mor llwyr, nad oedd weddillion o honynt i'w weled. Aaron yn unig a gadwyd heb ei niweidio gan y tân, o herwydd mai Duw a anfonasai y tân hwn i ddifa y rhai hynny yn unig oedd yn haeddianol o'u llosgi. Ar hyn Moses, wedi difetha y gwŷr yma, a ddymunodd wneud coffadwriaeth o'r farn hon i'w thraddodi i lawr i'w hiliogaeth, ac fel y byddai i'r oesoedd a ddeuai gael eu gwneud yn hyspys o hono; ac efe a orchymmynodd i Eleazer, mab Aaron, osod eu thuserau wrth yr allor bres, fel y byddent yn goffadwriaeth i'w hiliogaeth o'r pethau a ddioddefodd y dynion yma, am feddwl y gallent ddiangc wrth ymosod yn erbyn awdurdod Duw. Ac fel hyn ni chyfrifwyd Aaron mwyach megis un wedi derbyn yr offeiriadaeth drwy ffafr Moses, ond wrth gyhoedd farn Duw; ac efe a'i feibion yn ol hyn a'i hetifeddodd yn heddychlon.

## PENNOD IV.

*Am yr hyn a ddigwyddodd i'r Hebreaid mewn yspaid Deunaw Mlynedd ar Hugain, yn yr Anialwch.*

Y TERFYSG neu'r ymryson yma, ydoedd mor bell oddiwrth ddiweddu ar y dinystr hwn, fel ag y tyfodd yn llawer cadarnach,‡ ac a ddaeth yn fwy annioddefol. A'r achos o'i gynnydd ydoedd o'r fath natur, ag a barodd debygolrwydd ynddo i barhau dros hir amser. Canys a'r dynion yn credu eisoes na wneid dim heb

*Num. xvi. 33.

† Fe ymddengys yma oddiwrth y Pentateuch Samaritanaidd, ac mewn effaith oddiwrth y Salmydd, megis hefyd oddiwrth y Sefydliad Apostolaidd,—oddi wrth Epistol St. Clement at y Corinthiaid, oddi wrth Epistol Ignatius at y Magnesiaid, ac oddiwrth Eusebius, na ddarfu i Corah gael ei lyngcu i fynu gyd â'r Reubeniaid, eithr ei losgi gyd â'r Lefiaid o'i lwyth ei hun.

‡ Num. xvi. 41.

ragluniaeth Duw, a gyfrifent i'r pethau hyn ddyfod o amgylch y modd hynny, o herwydd ffafr Duw i Moses. Hwynt hwy, yn ganlynol, a osodasant y bai arno ef, drwy beri i Dduw fod mor ddigllon; a digwydd o hyn nid gymmaint o herwydd annuwioldeb y rhai a gospwyd, ag i Moses annog y gospedigaeth: a darfod i'r gwŷr hyn gael eu difetha heb fai neillduol, ond yn unig am eu bod yn awyddus ynghylch y gwasanaeth dwyfol; megis hefyd ei fod ef, yr hwn a fuasai 'r achos o'r lleihad hwn o nifer y bobl, drwy ddifetha cynnifer o wŷr, a'r rhei'ny yn fwyaf enwog o'r dyrfa; heblaw ei fod wedi d'iangc rhag cospedigaeth ei hun, yn awr a roddasai 'r offeiriadaeth i'w frawd mor gadarned, nad oedd wiw i neb ymhellach ymryson ag ef am dani: canys ni allai neb yn awr osod i mewn eu hawl iddi, wedi gweled y rhai a wnaethant o'r blaen felly yn cael eu difetha yn druenus. Ië, heblaw hyn, ceraint y rhai a ddifethwyd a wnaethant erfyniadau ar y gynnulleidfa i ddarostwng rhyfyg Moses, oblegid y byddai er mwy o ddiogelwch iddynt i wneud felly.

Moses, wedi clywed drachefn fod y bobl yn derfysglyd, a ofnodd yr anturient ryw weithred aflonydd arall, ac mai rhyw flinder mawr a gofidus a fyddai 'r canlyniad. Felly efe a alwodd y llïaws ynghyd yn gynnulleidfa, ac yn amyneddgar a wrandawodd pa amddiffyn oedd ganddynt drostynt eu hunain, heb eu gwrthwynebu hwynt; a rhag chwerwi o hono y dyrfa, efe yn unig a ddymunodd ar bennau y llwythau i ddwyn eu gwïail † ger bron, gyd ag enwau eu llwythau yn ysgrifenedig arnynt; ac efe a dderbyniai 'r offeiriadaeth, gwialen yr *hwn* y rhoddai Duw arwydd arni. I hyn y cyttunasant; felly y lleill a ddygasant eu gwïail, megis y darfu i Aaron hefyd, yr hwn a 'sgrifenasai arni enw llwyth Lefi. Y gwïail hyn a osododd Moses i fynu yn nhabernacl Duw. Ar y dydd nesaf efe a ddug y gwïail allan, y rhai a adwaenid y naill oddiwrth y llall gan y neb a'u dygodd hwynt, gan iddynt hwy yn wahanol sylwi arnynt, megis y darfuasai i'r dyrfa hefyd; ac ymherthynas i'r lleill yn yr un dull y derbyniodd Moses hwynt ac y gwelwyd hwy o'r blaen; eithr canfuasant flodau a changhenau yn tyfu ar wialen Aaron, gyd ag almonau addfed arnynt, am fod y wialen wedi ei thorri o'r pren hwnnw. Y bobl a synnasant gymmaint wrth yr olwg ryfedd hon, fel, er bod gradd o gasineb ynddynt o'r blaen tu ag at Moses ac Aaron, gosodasant yn awr y casineb hwnnw o'r neilldu, ac a ddechreuasant fawrhau doethineb Duw ymherthynas iddynt. Felly yn ol hyn hwy a ganmolasant yr hyn oedd Duw wedi ei arfaethu, ac a ganiattasant i Aaron wasanaethu swydd yr offeiriadaeth yn heddychlon. Ac fel hyn yr ordeiniodd Duw ef dair gwaith yn offeiriad; ac efe a ddaliodd yr anrhydedd hwnnw heb ychwaneg o rwystr. Ac wrth hyn yr ymrysoniad yma o eiddo 'r Hebreaid, wedi parhau dros hir amser, o'r diwedd a lonyddwyd.

Ac yn awr Moses, gan fod llwyth Lefi yn rhydd oddiwrth ryfeloedd a'r arlwyadau tu ag attynt, ac wedi eu neillduo at yr addoliad dwyfol, rhag eu bod yn sefyll mewn eisiau, a than angenrheidrwydd i ymofyn am gynnaliaeth, ac felly esgeuluso'r deml; a ordeiniodd i'r Hebreaid, yn unol a gorchymmyn Duw, pan etifeddent wlad Canaan, fod iddynt appwyntio wyth a deugain o ddinasoedd da i'r Lefiaid, a chaniattau iddynt feddiannu eu maes-drefi, cyn belled ag y cyrhaeddai y terfyn o ddwy fil o gufyddau oddiwrth furiau 'r ddinas. Ac heblaw hyn, efe a appwyntiodd fod i'r bobl dalu degwm o flynyddol ffrwythau y ddaear i'r Lefiaid a'r offeiriaid. A dyma 'r hyn y mae 'r llwyth hwnnw yn ei dderbyn gan y llïaws. Ond golygaf yn angenrheidiol i osod i lawr yr hyn oll a delir yn neillduol i'r offeiriaid.

Yn ganlynol efe a orchymmynodd i'r Lefiaid i roddi i fynu i'r offeiriaid dair ar ddeg o'r wyth dinas a deugain; a gosod o'r neilldu iddynt hwy y degfed ran o'r degwm a dderbynient yn flynyddol gan y bobl; gan nad oedd ond cyfiawn iddynt offrymmu i Dduw flaenffrwyth cnydiau y ddaear; a bod iddynt offrymmu y cyntafanedig o greaduriaid pedwar-carnol a ordein-

† Ymherthynas i'r deuddeg gwiail hyn o'r eiddo deuddeg llwyth Israel, gwel yr hanes a rydd St. Clement, pa un sydd lawer helaethach na 'r hyn a roddir yn ein Biblau ni, 1 Epist. §. 43.

P 2

iwyd yn aberthau, os gwrryw a fydd, i'r offeiriaid i'w lladd hwynt; fel y b'o iddynt hwy a'u teuluoedd oll fwytta o honynt yn y ddinas sanctaidd; ond bod i berchennogion y cyntaf-anedig na ordeiniwyd yn aberthau, yn ol cyfreithiau ein tir, ddwyn sicl a hanner yn eu lle; ond am y cyntaf-anedig o ddyn, pump o siclau: bod i'r Lefiaid hefyd dderbyn blaen-ffrwyth cnaif eu defaid; a phan grasai rhai o honynt ŷd bara, a gwneuthur torthau o hono, bod iddynt roddi rhyw fesur i'r offeiriaid. Ymhellach, pan wnelent adduned sanctaidd, fy meddwl yw, y rhai a elwid yn Nazareaid,* ag sy'n gadael i'w gwallt dyfu yn llaes, ac na yfant ddim gwin; pan y maent yn cyssegru eu gwallt, ac yn ei offrymmu yn aberth, y maent yn rhoddi y gwallt hwnnw i'r offeiriad i'w daflu yn tân. Y cyfryw hefyd ag a gyssegrant eu hunain i Dduw, megis corban, yr hyn sy'n arwyddo'r peth a eilw y Groegiaid, Rhodd, pan ewyllysiont eu rhyddhau oddiwrth y gwasanaeth hwnnw, ydynt i ddodi arian i lawr i'r offeiriaid; deg ar hugain o siclau os merch a fydd, a deg a deugain os mab: ond os bydd neb yn rhy dlawd i dalu y swm dywededig, bydd gyfreithlon i'r offeiriad benderfynu y swm fel y gwelo yn oreu. Ac os rhyw un a ladd ei anifail gartref erbyn gŵyl neillduedig, ac nid un grefyddol, y maent yn rhwym i ddwyn y cylla, y foch, y ddwyfron, ac ysgwyddog ddehau yr aberth i'r offeiriaid. Moses a fwriadodd â'r rhai hyn, i'r offeiriaid gael cynnaliaeth digonol; heblaw yr hyn a gawsant oddiwrth yr aberthau am bechod, a roddai'r bobl iddynt, megis y nodais i lawr yn y llyfr rhagflaenol. Efe hefyd a ordeiniodd, allan o bob peth a bennodid i'r offeiriaid, fod i'w meibion, eu merched, eu gwragedd, a'u gwasanaeth-ddynion gyfrannogi o honynt yn gystal a hwy eu hunain, oddieithr yr hyn a ddeuai iddynt allan o'r aberthau a offrymmid am bechod. Canys o'r rhai hyn nid oedd neb o dylwyth yr offeiriad i fwytta; ac yn y deml hefyd; a'r un dydd ag yr offrymmid hwynt.

Wedi i Moses ordeinio y gosodiadau hyn, yn ol terfynu yr ymryson, efe a symmudodd, ynghyd â'r holl fyddin, ac a ddaeth i derfynau Idumea. Yna efe a ddanfonodd gennadwyr at frenin yr Idumeaid, gan ddymuno cael ffordd ganddo i fyned drwy ei wlad, gan addaw danfon iddo pa ryw wystl a welai yn dda, i'w sicrhau oddiwrth bob niweid. Efe a ddymunodd hefyd fod i'w fyddin gael cennad i brynu lluniaeth; ac, os safai ar hynny, y talai i lawr bris y dwfr a yfent. Ond ni foddlonodd y brenin i'r gennadwri hon oddiwrth Moses, ac ni chaniattäi fynedfa i'w fyddin drwy ei wlad; ond efe a ddug ei bobl yn arfogion i gyfarfod Moses, ac i'w luddias i ddyfod ym mlaen os gwnaent gynnygiad drwy drais i hynny. Ar hyn Moses a ymgynghorodd â Duw drwy yr oracl; yr hwn ni fynnai iddo ddechreu y rhyfel yn gyntaf: ac felly efe a gwympodd yn ol gyd â'i luoedd, ac a drafaeliodd o amgylch ogylch yn yr anialwch.

Yna y bu farw Miriam, chwaer Moses, ac y diweddodd eu dyddiau; † wedi gorphen ei ‡ deugeinfed flwyddyn yn ol yr ymadawiad o'r Aipht; ar § y dydd cyntaf o'r mis lloerawl Xanthicus. Yna y gwnaethant angladd gyhoeddus iddi â chost fawr. Hi a gladdwyd ar ryw fynydd a elwid Sin. Ac wedi galaru am dani ddeg diwrnod ar hugain, Moses a burodd y bobl yn ol y drefn ganlynol. Efe a ddug anner na arferasid erioed i'r iau, neu hwsmonaeth, ac ydoedd berffaith-gwbl yn ei holl rannau, ac yn goch ei lliw, i le o ychydig belldra oddiwrth y gwersyll, ac yn berffaith lân. Yr anner yma a laddwyd gan yr archoffeiriad, a'i gwaed a daenellwyd ganddo â'i fŷs seithwaith o flaen tabernacl Duw. Yn ol hyn, yr anner gyfan a losgid y modd hwnnw, ynghyd â'i chroen a'i cholyddion; a thaflent goed cedrwydd, ac isop, a gwlan porphor, i ganol y tân. Yna dyn

* Y mae Grotius yn sylwi, fod y Groegiaid yn gystal a'r Iuddewon, weithiau yn cyssegru gwallt eu pennau i'r duwiau. Ar Num. vi. 18.

† Num. xx. 1

‡ Mae Josephus yma yn arferyd yr ymadrodd hwn, pan oedd y ddeugeinfed flwyddyn wedi ei chyflawni, am ei dechreuad; megis y mae St. Luc, pan gyflawnwyd dydd y Pentecost. Act. ii. 1.

§ Pa un a fu farw Miriam, fel y mae copiau Groegaidd Josephus yn arwyddo, ar y dydd cyntaf o'r mis, sydd i'w ammau; o herwydd fod y copiau Lladin yn crybwyll am y degfed dydd; ac felly y dywed y calendar Iuddewaidd hefyd, fel y mae Dr. Bernard yn sicrhau i ni. Dywedir fod ei beddrod i'w weled hyd heddyw gerllaw Petra, prif-ddinas hynafol Arabia Petræa; a'r un hynny a berthynai i Aaron, heb fod yn neppell oddi yno.

heb ei aflanhau a grynhöai ei lludw oll ynghyd, ac a'i dodai mewn lle perffaith lân. Gan hynny, wedi i ryw bersonau gael eu llygru gan gorph marw, rhoddid ychydig o'r lludw yma mewn dwfr croyw, gyd ag isop, a chan wlychu rhan o'r lludw ynddo, hwy a'i taenellent arnynt, ar y trydydd a'r seithfed dydd; ac wedi hynny byddent lân. Hyn a barodd efe iddynt wneuthur hefyd pan ddenai y llwythau i'w gwlad eu hun.

Yn awr, wedi i'r puredigaeth hwn a wnaeth eu harweinydd ar alarnad ei chwaer, megis y desgrifiwyd, fyned drosodd, efe a barodd i'r fyddin ymsymmud yn y blaen, ac i deithio drwy 'r anialwch, a thrwy Arabia. Ac wedi eu dyfod i le a gyfrifir gan yr Arabiaid eu maen-ddinas, yr hon gynt a elwid Arce, ond sydd ag iddi yn awr yr enw Petra; yn y lle hwn, pa un a amgylchynid â mynyddau uchel, Aaron a aeth i fynu i un o honynt, yngolwg yr holl fyddin; a Moses wedi rhagddywedyd iddo o'r blaen ei fod i farw, a'r lle yma ydoedd gyferbyn a hwynt. Efe yno a ddiosgodd ei wisgoedd offeiriadol, ac a'u traddododd i Eleazer ei fab, i ba un y perthynai yr uchel offeiriadaeth, o herwydd ei fod yn fab hynaf; yno y bu farw* Aaron yngolwg y dyrfa, a hwy yn craffu ar le ei ymadawiad. Efe a fu farw yn yr un flwyddyn ag y collodd ei chwaer Miriam; wedi byw o flynyddau oll gant a thair ar hugain. Bu farw ar y dydd cyntaf o'r mis lloerawl, a elwir gan yr Atheniaid Hecatombæon; gan y Macedoniaid, Lous; ond gan yr Hebreaid, Abba.

## PENNOD V.

*Am y fuddugoliaeth ar Sihon ac Og, brenhinoedd yr Amoriaid, a rhaniad eu gwlad wrth goelbren rhwng dau lwyth a hanner o'r Hebreaid.*

Y BOBL a alarasant am Aaron ddeg diwrnod ar hugain: ac wedi myned y galar hwn drosodd, Moses a symmudodd ei fyddin o'r lle hwnnw, ac a ddaeth hyd at afon Arnon, yr hon oedd a'i chyfodiad o fynyddoedd Arabia, a chan redeg drwy 'r holl anialwch hwnnw, ydoedd a'i disgynfa i lŷn Asphaltites, ag ydoedd yn terfynu rhwng gwlad y Moabiaid a'r Amoriaid. Y tir hwn sydd ffrwythlon, ac yn alluog i gynnal nifer mawr o drigolion a'r pethau angenrheidiol y mae yn ei ddwyn. Moses gan hynny a ddanfonodd gennadon at Sihon brenin y wlad hon, i ddeisyfu cael ffordd i'w luoedd i fyned drwy ei dir ef, ar yr ammodau a welai efe yn dda ofyn. Addawodd na chai mewn un modd ei golledu ymherthynas i'r wlad yr oedd yn ei llywodraethu, na'i thrigolion: y pwrcasent eu hangenrheidiau am bris a fyddai 'n fanteisiol i'w ddeiliaid; ïe, pe byddai ddymuniad ganddo i roddi gwerth ar eu dyfroedd. Ond Sihon a wrthododd y cynnygiad, ac a ddododd ei luoedd dan arfau, gan wneud pob rhyw barodrwydd i luddias eu dyfodiad dros Arnon.†

Pan welodd Moses fod y brenin Amoriaidd yn tueddu i ryfela, barnodd nad oedd gymmwys iddo oddef y sarhad hwn; a chan benderfynu diddymu yr Hebreaid o'u tymmer segurllyd, a rhagflaenu 'r anghydfod a darddasai oddiwrth hynny, megis un achos o hono yn ddiweddar, ac yn wir nid oeddynt yn awr yn gwbl esmwyth o ran eu meddyliau: efe a ymofynodd â Duw a roddai efe gennad iddo i ymladd? yr hyn wedi ei gael ganddo, a Duw yn addaw iddo y fuddugoliaeth, yr ydoedd yn dra hyderus, ac yn barod i fyned i'r frwydr. Yn ganlynol, efe a gefnogodd y milwyr, gan ddymuno arnynt gymmeryd yn llaw y difyrrwch o ymladd; gan fod Duw yn awr yn caniattäu hynny iddynt. Wedi derbyn yr awdurdod yma, pa un yr oeddynt wedi ei hir chwennychu, ymwisgasant a'u harfogaeth, ac a ymosodasant at y gwaith yn ddioed. Ond y brenin Amoriaidd nid ydoedd erbyn y pryd hyn yn debyg iddo ei hun: pan oedd yr Hebreaid yn barod i'w oddiweddu, efe ei hun ynghyd a'i fyddin a ddychrynasant ar yr olwg o'r Hebreaid, wedi o'r blaen ymddangos yn gefnog, ond yn awr a lwfrhäwyd. Felly ni allasant ymgynnal dan yr ymosodiad cyntaf, na dal i fynu yn erbyn yr Hebreaid: eithr hwy a ffoisant ymaith, gan feddwl y byddai i hyn fod er mwy diogelwch iddynt, nag ymladd. Canys yr oedd-

*Num. xx. 28.

†Num. xxi. 23.

ynt yn hydern ar eu dinasoedd, y rhai ydoedd gadarn; oddiwrth ba rai ni chawsant, pa fodd bynnag, leshad, pan orfu iddynt ffoi o honynt. Canys cyn gynted ag y canfu yr Hebreaid hwy yn colli tir, hwy yn union-gyrch a'u herlidiasant; ac wedi gwasgaru eu rhesau hwy a frawychwyd yn fawr, a rhai a aethant ar encil oddiwrth y lleill, gan ddiangc i'r dinasoedd. Yn awr yr Hebreaid a'u herlidiasant yn gyflym, ac a ddaliasant yn gyndyn i ymdrechu â'r llafur oedd ganddynt o'u blaen; a hwy yn dra chelfyddus i ergydio â ffyn-dafl, annelu saethau, neu ryw offerynnau dinystriol eraill; ac hefyd wedi eu hamwisgo yn unig ag arfogaeth ysgafn; hyn a'u parodd i fod yn gyflym yn erlidiad a goddiweddiad eu gelynion. A'r rhai ag ydoedd bell oddi wrthynt,ac na allent eu cael i'w gafael, hwy a'u cyrhaeddent ag ergydion eu ffyn-dafl, ac â'u saethau: felly llawer a syrthiasant, a'r rhai a ddiangasant rhag eu lladd a glwyfwyd yn archolledig; a'r rhai hynny a gyfyngwyd arnynt yn fwy oblegid eu syched nag o herwydd y rhai a ymladdent i'w herbyn, am mai y tymmor haf ydoedd: ac wedi i'r nifer mwyaf o honynt fyned i wared i'r afon gyd â dymuniad i yfed o honi, ac hefyd pan ydoedd eraill yn ffoi ymaith yn lluoedd, yr Hebreaid a'u hamgylchasant, ac a saethasant arnynt, ac â phiccellau a saethau hwy wnaethant laddfa o honynt oll. Sihon hefyd eu brenin a laddasant. Felly yr Hebreaid a yspeiliasant eu cyrph meirwon, ac a gymmerasant eu hysglyfaeth ymaith.* Y tir hefyd yr hwn a ynnillasant oedd gyflawn o ffrwythau, a'r fyddin a gerddasant drosto oll yn ddiofn, gan borthi eu hanifeiliaid, a chymmeryd y gelynion yn garcharorion: canys ni allai pobl y wlad mewn un modd eu hattal, yn gymmaint a bod yr ymladdwyr oll wedi eu difetha. Y cyfryw ydoedd y dinystr a ddaeth ar yr Amoriaid, y rhai nid oeddynt ddoethion yn eu cyngor, nac yn wrol mewn ymladdfa. Ar hyn yr Hebreaid a gymmerasant feddiant o'u tir, yr hwn sydd a'i sefyllfa rhwng tair o afonydd, ac yn naturiol yn tebygoli i ynys: yr afon Arnon yn derfyn gogleddol; a'r afon Jabboc ar ei thu deheuol, pa un drwy fod ei rhediad i'r Iorddonen sydd yn colli ei henw ei hun, ac yn myned dan y llall; tra y mae yr Iorddonen ei hun ar ei thu gorllewin † yn cyd-redeg â hi.

Wedi i bethau ddyfod i'r amgylchiad hwn, Og, brenin Gilead, a Gaulanitis, a syrthiodd ar yr Israeliaid. Efe a ddygodd ei fyddin gyd ag ef, ac a ddaeth ar frŷs i gynnorthwyo ei gyfaill Sihon. Ac er ei gael eisoes wedi ei ladd, efe a ymroddodd i ymladd â'r Hebreaid, gan ddychymmygu y byddai rŷ galed iddynt, gyd â chwant i brofi eu gwrolder. Ond wedi methu o'i obaith, efe a laddwyd ei hun yn y frwydr, a'i fyddin oll a ddifethwyd.‡ Felly Moses a aeth dros yr afon Jabboc, ac a oresgynodd deyrnas Og. Efe a ddadymchwelodd eu dinasoedd ac a laddodd eu holl drigolion, y rhai oedd yn rhagori mewn cyfoeth ar holl breswylwyr y rhan hynny o'r cyfandir, ar gyfrif ffrwythlondeb y tir, a lliosowgrwydd ei olud. Yn awr, i Og nid oedd ond ychydig o gydraddau ymherthynas i faintioli ei berson, neu harddwch ei ymddangosiad. Efe hefyd ydoedd wr bywiog, athrylithgar, fel yr oedd ei gampau yn cyfatteb i'w ddirfawr faintioli, a harddwch ei ymddangosiad corphorol. Ac fe allai dynion yn hawdd ddyfalu ei nerth a'i wrolder, pan gawsant feddiant o'i wely yn Rabbath, dinas frenhinol yr Ammoniaid. Ei waith ydoedd o haiarn, ei led yn bedwar cufydd, a'i hyd yn ddeublyg y mesuriad hwn gyd ag un cufydd.

Pa fodd bynnag, ei gwymp nid yn unig a wellhaodd ar amgylchiad yr Hebreaid yn bresennol; ond drwy ei farwolaeth yr ydoedd yn achlysur o bellach llwyddiant a hwylusdod iddynt; canys hwy ar fyrder a gymmerasant drugain o ddinasoedd ag oedd wedi eu hamgylchu â muriau odiaethol, y rhai fuasent ddarostyngedig iddo ef; a'r holl bobl a gawsant, yn gyffredinol a neillduol, ysglyfaeth fawr oddi wrthynt.

*Y fuddugoliaeth yma a goffeir yn Num. xxi. 30. Deut. i. 4. iii. 2. iv. 64. xxix. 7, 8. Jos. xiii. 10. Barn. xi. 21. a cxxxv. 10, 11. cxxxvi. 18, 19. a chan Philo. t. d. 642.

† Num. xxi. 24.

‡ Gwel Num. xxi. 25. Deut. iii. 3. Jos. xii. 4. Sal. cxxxv. 11, 12. a Philo. t. d. 643.

## PENNOD VI.

*Am gynnygiad Balaam i felldithio Israel, a'r cyfrwysder drwy 'r hyn y gwanychwyd yr Hebreaid.*

WEDI i Moses ddwyn ei fyddin at yr Iorddonen, efe a wersyllodd yn y gwastadedd ehang ar gyfer Jericho.* Y ddinas hon oedd a'i sefyllfa yn fanteisiol, ac yn dra chymmwys i ddwyn palmwydd a balsam. Ac yn awr yr Israeliaid a ddechreuasant ymfalchïo o honynt eu hunain, ac oeddynt yn dra chwannog i ryfela. Moses, gan hynny, wedi offrymmu am ychydig ddyddiau, aberth o ddiolchgarwch i Dduw, a gwledda y bobl, a anfonodd lïaws o wŷr arfog i ddifrodi gwlad y Midianiaid, ac i gymmeryd eu dinasoedd. Yn awr, yr achlysur a gymmerodd efe i wneuthur rhyfel i'w herbyn ydoedd fel y canlyn:—

Wedi i Balac, brenin y Moabiaid, yr hwn ydoedd a chyfeillgarwch ac a chyngrair rhyngddo a'r Midianiaid, weled mor ddirfawr yr oedd yr Israeliaid yn cynnyddu, efe a ddychrynwyd yn fawr ar gyfrif ei enbydrwydd ei hun a'i deyrnas. Canys nid oedd efe† yn adnabyddus o hyn, nad ydoedd yr Hebreaid i gyffwrdd ag un wlad arall; ond eu bod i foddloni ar etifeddiaeth o wlad Canaan; a Duw wedi gwahardd iddynt ymofyn ymhellach. Felly efe, gyd â mwy o frŷs na doethineb, a ymrôdd i gynnyg arnynt â geiriau; ond ni thybiodd yn gallineb i ymladd â hwynt yn ol ynnill o honynt y fath fuddugoliaethau, a'u dyfod allan o frwydrau aflwyddiannus yn ddedwyddach nag o'r blaen: ond efe a feddyliodd osod rhwystr o'u blaen, os gallai, drwy eu hattal i gynnyddu yn fwy; ac efe a benderfynodd anfon cennadon at y Midianiaid o'u plegid hwy. Yn awr, y Midianiaid hyn yn gwybod am un Balaam, yr hwn oedd yn byw wrth Euphrates, ac yn un mwyaf o'r prophwydi y pryd hynny, yr hwn ydoedd mewn cyfeillgarwch â hwynt, anfonasant rai o'u tywysogion anrhydeddus gyd â chennadwyr Balac, i erfyn ar y prophwyd i ddyfod attynt hwy, fel y rhegai efe yr Israeliaid er eu dinystrio hwynt.‡ Felly Balaam a dderbyniodd y cennadau, ac a ymddygodd yn dirion tu ag attynt: ac wedi eu swppera hwynt, efe a aeth o'r neilldu, ac a ymofynodd pa beth oedd ewyllys Duw, a pha achos ydoedd hwn, o herwydd pa un y deisyfodd y Midianiaid arno ddyfod attynt hwy: ond pan wrthwynebodd Duw ei fynediad, daeth at y cennadon, ac a ddywedodd wrthynt, ei fod ef yn ewyllysgar o'i ran ei hun, ac á dymuniad ganddo i gydsyniad a'u deisyfiadau, ond fod Duw yn wrthwyneb i'w fwriadau, sef y Duw hwnnw a'i derchafasai i fawr anrhydedd ar gyfrif y gwirionedd o'i ragddywediadau: a bod y fyddin honno ag oeddynt hwy yn erfyn arno ddyfod i'w melldithio yn ffafr Duw. Ar ba gyfrif efe a'u cynghorodd i fyned adref drachefn, a pheidio a pharhau yn eu cenfigen tu ag at yr Israeliaid. Ac wedi rhoddi 'r attebiad hwnnw iddynt, efe a adawodd i'r cennadon fyned ymaith.

Yn awr, y Midianiaid, drwy daer ddeisyfiadau Balac, a anfonasant gennadau eraill at Balaam, yr hwn, o herwydd ei ddymuniad i foddhau y gwŷr, a ymofynodd â Duw drachefn; ond efe a anfoddlonodd wrth yr ail brofiad hwn, ac a barodd iddo ym mhob modd beidio a gwrthwynebu y cennadau. Ni ddychymmygodd Balaam fod Duw wedi rhoddi 'r annogaeth hon iddo mewn trefn i'w dwyllo ef; felly efe a aeth ymaith gyd â hwynt. Ond pan gyfarfu yr angel dwyfol ag ef ar y ffordd, wedi dyfod i le cyfyng, a mur ar bob llaw iddo, yr assen ar ba un y marchogai Balaam, a ddeallodd mai yspryd dwyfol ydoedd wedi ei gyfarfod, ac a wasgodd Balaam ynghyd ag un o'r muriau, heb ymdeimlo a'r gwialennodiau a gafodd gan ei meistr wedi ei friwio wrth y mur. Ond yr assen drwy fod yr angel yn parhau yn ddychryn iddi, a'r gwialennodiau a gafodd drachefn, a syrthiodd i lawr; a thrwy wyrthiau Duw hi a arferodd lais dynol

* Num. xxii 1.

† Yr hyn y mae Josephus yn ei sylwi yma, sy 'n haeddiannol o'n sylw ninnau: sef, nad oedd yr Israeliaid byth i gyffwrdd â'r Moabiaid, Ammoniaid, neu un pobl eraill, ond y rhai a berthynent i wlad Canaan, ynghyd â gwledydd Sihon ac Og y tu hwynt i'r Iorddonen, cyn mhelled a diffeithwch Euphrates; ac am hynny nad oedd reswm i bobl eraill ofni goruchafiaeth yr Israeliaid; ond bod y gwledydd hynny a roddasid iddynt gan Dduw yn rhan briodol iddynt ym mhlith y cenhedloedd, a bod pawb eraill a ymdrechent eu hetifeddu o gyfiawnder yn ddarostyngedig i'w difetha ganddynt.

‡ Num. xxii. 6.

gan achwyn ar Balaam ei fod yn ymddwyn yn anghyfiawn tu ag atti; ac pan na chafodd un bai yn ei gwasanaeth blaenorol, ei fod yn awr yn ei niweidio â fflangellau, megis heb ddeall ei bod yn cael ei lluddias i'w wasanaethu yn yr hyn ag oedd efe yn myned yn awr i'w gyflawni, drwy ragluniaeth Duw. Ac wedi ei derfysgu o herwydd lleferydd yr assen, yr hwn ydoedd ddynol, yr angel yn amlwg a ymddangosodd iddo, ac a'i beiodd oblegid y dyrnodiau a roddodd i'r assen; gan hyspysu iddo nad oedd y creadur ar fai, ond ei fod wedi dyfod ei hun i'w rwystro ef yn ei daith, megis yr hyn oedd wrthwyneb i ewyllys Duw. Ar hynny Balaam a ofnodd, ac ydoedd yn parottoi i ddychwelyd yn ol; etto rhoddodd Duw annogaeth iddo fyned rhagddo yn ei daith; ond a chwanegodd hyn, na chai efe lefaru dim heblaw yr hyn a ddywedid ganddo ef.*

Wedi i Dduw roddi iddo y gorchymmyn hwn y prophwyd a ddaeth at Balac; ac wedi i'r brenin ei roesawu mewn modd ardderchog, dymunodd iddo fyned i un o'r mynyddoedd, i olygu trefn gwersyll yr Hebreaid. Balac ei hun hefyd a esgynodd i'r mynyddau, ac a ddug y prophwyd gyd ag ef, a'r gweinyddwyr brenhinol yn eu dilyn. Y mynydd hwn oedd a'i sefyllfa uwch eu pennau, a'i belldra ydoedd drugain ystad oddiwrth y gwersyll. Yna efe a laddodd yr aberthau, ac a'u hoffrymmodd megis poethoffrwm, fel y canfyddai ryw arwydd o amgylchiad yr Hebreaid. Yna eb efe, "Dedwydd yw y bobl hyn, i ba rai y mae Duw yn cyfrannu mwyniant o aneirif bethau daionus; ac yn caniattau ei ragluniaeth ei hun yn amddiffynnydd ac yn gyfarwyddyd iddynt: felly nid oes un genedl ym mhlith dynolryw na chyfrifir dy fod di yn rhagori arnynt mewn rhinwedd, ac yn olrheiniad y rheolau goreu o fuchedd, a'r cyfryw ag sydd bur oddiwrth ddrygioni, y rhai a adewi i'th blant a'th hiliogaeth ar ol, a hyn oddiwrth ofal Duw drosoch chwi, ac arlwyad y cyfryw bethau a dueddo i'ch gwneuthur yn ddedwyddach na dim pobl eraill dan yr haul. Chwi a etifeddwch y tir i ba un y denfyn Duw chwi, ac a fydd yn wastadol dan lywodraeth eich hiliogaeth; a'r holl ddaear yn gystal a'r moroedd a lenwir a'u godidowgrwydd. A chwi a fyddwch yn lluosog ddigon i ddiwallu 'r byd yn gyffredin, a phob ardal o hono yn neillduol â phreswylwyr o'ch had chwi. Pa fodd bynnag, O wynfydedig dyrfa! rhyfeddwch eich cynnyddu i'r fath nifer oddiwrth un tad! ac mewn gwirionedd, tir Canaan a ddichon yn awr eich cynnal, tra'r ydych mewn cymmariaeth yn ychydig; ond gwybyddwch y bwriedir yr holl fyd yn lle o breswylfod i chwi yn wastadol. Eich hiliogaeth hefyd a fyddant fyw yn yr ynysoedd yn gystal ac ar y cyfandir, ac a fyddant yn fwy lliosog na ser y nefoedd. A phan ddeloch yn gynnifer, ni ad Duw heibio ei ofal drosoch, ond a ganiattâ amlder o bethau daionus i chwi yn amser heddwch, gyd â buddugoliaethau a llywodraeth amser rhyfel. Bydded fod plant eich gelynion yn tueddu i ymladd i'ch erbyn chwi, a byddent mor galonnog a dyfod dan arfau, ac ymosod i'ch erbyn mewn brwydr: canys ni ddychwelant yn fuddugoliaethus, ac ni fydd eu dychweliad wrth fodd eu gwragedd a'u plant. I'r fath radd o wrolder y derchefir chwi drwy ragluniaeth Duw, yr hwn sy 'n alluog i ddiddymmu helaethrwydd rhai, ac i ddiwallu angenrheidiau eraill."

Fel hyn y llefarodd Balaam drwy ysprydoliaeth, megis heb ei fod yn ei allu ei hun, ond wedi ei gynnyrfu i draethu yr hyn a ddywedodd

* Nodwch, nad yw Josephus byth yn golygu Balaam fel eilun-addolwr, neu megis un yn ymofyn am swynion eilunaddolgar, neu arfer gaubrophwydoliaeth; ond ei fod yn ddim amgen na phrophwyd i'r gwir Dduw, o ddrwg-duedd, ac yn arwyddo fod attebiad Duw iddo yr ail waith yn canniattau ei fynediad gyd â'r cennadon, fel math o wawdiaith, a chyd ag amcan i'w dwyllo; mewn ffordd o gospedigaeth am feiau o'r blaen, nid yw Josephus yn rhuso cydsynio ag ef; gan gyfrif yn gyfiawn i'r fath ddynion drwg yn rhagluniaethol gael eu twyllo. Ond ysgattydd mai gwell ydyw i ni lynu yn agos at y testyn; yr hwn a ddywed, Num. xxiii. 20, 21; i Dduw yn unig gennadu i Balaam fyned gyd â hwynt, neu yn ol Cyfieithiad y Septuagint, dilyn y cennadau; rhag eu dyfod i alw am dano ef, neu yn bendant fod iddo ddyfod gyd â hwynt ar ryw ammodau. Ac fe ymddengys i Balaam drwy fyrbwylldra gyfodi yn foreu, a chyfrwyo ei assen, a galw yn hytrach arnynt hwy, nag aros nes iddynt hwy ei alw ef; mor awyddus y mae 'n dangos ei fod i'w gyflog am ddewiniaeth, i'w wobr o anghyfiawnder. Num. xxii. 7, 17, 18. 37. 2 Pedr ii. 15. Jud. 11, yr hwn wobr neu gyflog nid ydoedd gwir dduwiol brophwydi Duw byth yn ei ymofyn neu ei dderbyn, fel y mae Josephus yn uniawn sylwi yn achosion Samuel, Hynaf. VI. 4, a Daniel, Hynaf. X. 17. Gwel hefyd Gen. xiv. 23. 24. 2 Bren. v. 15, 16. 26. ac Act. viii. 18---24.

gan yr yspryd dwyfol. Ond Balac a anfoddlonodd yn fawr, ac a ddywedodd dorri o hono gyttundeb ei ddyfodiad a wnaethant, pan ei gwahoddasid ganddo ef a'i gyngreirwyr, drwy addewid o wobrwyon mawr. Canys tra 'r ydoedd ei ddyfodiad i felldithio eu gelynion, efe a draethasai foliant iddynt, gan ddatgan eu dedwyddwch uwchlaw dynion eraill. I'r hyn yr attebodd Balaam; "O Balac, os iawn ystyri yr holl achos hwn, a feddyli di y gallwn fod yn ddistaw, neu lefaru un peth yn amgen pan ddisgynno yspryd Duw arnom? canys efe a esyd y fath eiriau ag a welo yn dda yn ein geneuau; a'r fath ymadroddion a'r nad ydym yn gydwybodol o honynt. Yr wyf yn cofio yn dda â pha ryw gymmelliadau y dygwyd fi gennych chwi a'r Midianiaid yma, ac oblegid hynny y cymmerais y daith hon. Gwedd'iais na fyddai i mi eich siommi chwi ymherthynas i'r hyn a ddeisyfech gennyf. Ond y mae Duw yn fwy awdurdodol na 'r amcanion oedd gennyf fi i'ch gwasanaethu. Canys y sawl a gymmero arnynt ragfynegi digwyddiadau dynolryw, megis o'u nerth eu hunain, ydynt yn hollol annigonol i hynny, neu ymattal a llefaru yr hyn a ddangoso Duw iddynt, neu wrthsefyll ei ewyllys ef. Canys pan y mae efe yn ein rhagflaenu ac yn dyfod i'n mewn, nid yw dim a ddywedom ni yn eiddo i ni ein hunain. Nid oeddwn y pryd hynny yn amcanu mawrhau y dyrfa hon, neu grybwyll yr amrywiol bethau daionus a fwriadodd Duw wneuthur i'w hiliogaeth hwy. Ond gan ei fod ef mor ffafriol iddynt, ac mor barod i ganiattäu dedwyddwch bydol a gogoniant tragywyddol, efe a barodd im' ddatgan y pethau hyn. Ond yn awr gan fy mod, o'm rhan fy hun, yn dymuno dy foddhau di, yn gystal a'r Midianiaid, cymmelliadau pa rai nid yw deg i mi eu gwrthod; gosodwn drachefn allorau eraill i fynu, ac offrymmwn y cyffelyb aberthau ag o'r blaen; ac mi a gat weled a allaf ynnill Duw i ganiattäu i mi rwymo y dynion hyn â melldithion." Balac yn barodlawn a gydsyniodd â'r cynnygiad hwn; ond ni fynnai Duw ar yr * ail aberthiad gydsynio â'i felldithiad o'r Israeliaid. Yna y syrthiodd Balaam ar ei wyneb, ac a ragfynegodd y trallodion a oddiweddai frenhinoedd amryw genhedlaethau, a dinasoedd godidoccaf, rhai o ba rai gynt ni chawsent gymmaint a'u cyfanneddu; pa ryw ddamweiniau a ddaethant o amgylch ym mysg amryw bobloedd i ba rai y perthynent mewn oesoedd rhagflaenol, yn gystal ag yn yr oes hon o'm coffadwriaeth fy hun, ar dir ac ar fôr. Oddiwrth ba gyflawniad o'r rhagddywediadau hyn, gall un ddisgwyl yn naturiol y bydd i'r gweddill gael eu cyflawni amser a ddaw.

Balac wedi digio yn fawr am na felldithiasai Balaam yr Israeliaid, a'i gyrrodd ymaith, heb ei gyfrif yn deilwng o ddim anrhydedd: pa ryw amser pan ydoedd ar ei daith mewn trefn i fyned dros Euphrates, efe a ddanfonodd am Balac, ac am dywysogion y Midianiaid, ac a lefarodd wrthynt fel y canlyn: "O Balac, a chwi y Midianiaid ag sydd yma yn bresennol, yr wyf yn clywed arnaf rwymau, er nad yw wrth ewyllys Duw, i geisio eich boddloni chwi. Y mae 'n wir na all llwyr ddinystr oddiweddyd cenedl yr Hebreaid; na thrwy ryfel, neu bla, neu brinder o ffrwythau 'r ddaear; ac ni all un ddamwain annisgwyliadwy arall eu diddymmu hwynt. Canys y mae rhagluniaeth yn gofalu am eu cadwedigaeth oddiwrth y fath anhap; ac ni âd i'r fath adfyd ddyfod arnynt ag a'u difetha hwynt oll. Ond rhai blinderau bychain, a bery dros amser i'w darostwng hwynt, a all ddyfod arnynt. Ond yn ol hynny hwy a flodeuant drachefn, er dychryn i'r rhai a ddyg y blinderau hynny arnynt. Felly os oes gennych chwant i gael buddugoliaeth arnynt am ychydig amser, chwychwi a'i mwynhewch drwy ddilyn fy nghyfarwyddiadau i. Gosodwch† allan, gan hynny,

* Pa un a oedd gan Josephus gopinod am fwy na dau o ymdrechiadau Balaam i felldigo Israel; neu pa un wrth offrymmu ddwywaith, yr oedd yn meddwl heblaw y waith gyntaf a grybwyllwyd eisoes, yr hyn etto nid yw bur debygol, hyn nis gellir yn awr ei benderfynu. Yn y cyfamser pob copiau eraill sydd â thri o'r fath ymdrechiadau ynddynt o'r eiddo Balaam i'w melldigo, yn yr hanes bresennol.

† Y fath hanes helaeth a gwahaniaethol o'r gwyrdroad yma o'r Israeliaid gan ferched Midian, (o'r hyn nid yw ein copiau eraill yn rhoddi i ni ond byrr ddarluniad, Num. xxxi. 16. 2Pedr ii. 15. Jud. 11. Dat. ii. 14.) sydd mewn coffadwriaeth, fel y mae Reland yn hyspysu i ni, yn y croniel Samaritanaidd, yng ngwaith Philo, yn gystal ag yma yn Josephus.

brydferthwch y cyfryw o'ch merched ag sydd yn rhagori fwyaf mewn glendid, ac yn addas i orchfygu gorchwyledd y rhai a'u cenfydd hwynt; wedi eu harddu a'u haddurno i'r graddau mwyaf a alloch. Yna danfonwch hwynt i wersyll yr Israeliaid; a rhoddwch orchymmyn arnynt, pan ddymuno gwŷr ieuaingc yr Hebreaid eu cymdeithas hwynt, ar fod iddynt gydsynio. A phan ganfyddent hwy yn serchu tu ag attynt, cymmerant eu cennad i fyned ymaith; ac os deisyfant eu harosfa, na chydsynient i hynny, nes iddynt eu perswadio i esgeuluso eu cyfreithiau, ac addoliad y Duw hwnnw a'u sefydlodd hwynt, a bod iddynt addoli duwiau y Midianiaid a'r Moabiaid; canys drwy 'r moddion hynny fe ennyna digofaint Duw yn eu herbyn." * Yn ganlynol wedi i Balaam roddi 'r addysg hon iddynt, efe a aeth i'w ffordd.

Wedi i'r Midianiaid ddanfon eu merched, fel y cynghorasai Balaam hwynt, gwŷr ieuaingc yr Hebreaid a hudwyd gan eu tegwch, ac a ddeisyfiasant arnynt beidio a'u gommedd o'r mwyniant o'u cyfeillach, a'u cydymddiddaniad â hwynt. Y merched yma i'r Midianiaid a dderbyniasant eu geiriau yn llawen, ac a gydsyniasant i aros gyd â hwynt. Ond wedi serchu ychwaneg ynddynt, yna siaradent am ymadael. Yna y gwŷr hynny a ddechreuent dristâu wrth ymadawiad y merched, ac a fuont daer arnynt am beidio a'u gadael hwynt, ond iddynt barhau yno a dyfod yn wragedd iddynt, gan addaw y caent eu cydnabod yn llywyddesau ar yr hyn oll a feddent. Dywedent hyn gyd â llw, gan alw Duw yn dyst ar yr hyn a addawsent; a hyn gyd â dagrau yn eu llygaid, a'r fath nodau eraill o gur ag a ddangosai pa mor annedwydd yr oeddynt yn dychymmygu y byddent hwy, a hyn i gynnyrfu eu tosturi. Felly y menywaid mor gynted ag y gwelsant ddarfod eu caethiwo ganddynt, a'u hynnill hwynt â'u cymdeithas, a ddechreuasant lefaru fel hyn wrthynt:

"O wŷr ieuangc godidog; y mae gennym anneddau o'r eiddom ein hunain gartref, ac amldra o bethau daionus yno, gyd â charedigrwydd naturiol ein rhieni a'n cyfeillion. Ac nid o ran ein diffyg o unrhyw bethau y daethom i ymddiddan â chwi; ac ni chydsyniasom â'ch gwahoddiadau gyd â bwriad i werthu ein prydferthwch am elw: ond gan eich cymmeryd fel dynion godidog a pharchus, nyni a gyttunasom â'ch deisyfiadau, fel yr ymddygom tu ag attoch mor anrhydeddus ag oedd ein croesawiad yn gofyn. Ac yn awr gan eich clywed yn dywedyd fod gennych serch mor fawr tu ag attom, a'ch bod yn tristáu wrth feddwl am ein hymadawiad, nid ydym ni am wrthwynebu eich dymuniadau; ac os bydd i ni gael sicrwydd boddlongar o'ch ewyllys da, bydd dda gennym arwain ein bywydau gyd â chwi fel eich gwragedd; ond yr ydym yn ofni y bydd i chwi mewn amser flino ar ein cymdeithas, ac yna yr amharchwch, ac yr anfonwch ni yn ol at ein teuluoedd mewn modd dianrhydeddus. Rhaid i chwi, gan hynny, ein hesgusodi am ddiogelu ein hunain rhag y perygl hwnnw."

Y gwŷr ieuaingc a dystiasant y rhoddent iddynt unrhyw sicrwydd a ddymunent; ac ni ddarfu iddynt wrthwynebu oll yr hyn a ofynasent; gan mor fawr oedd eu serch tu ag attynt.

"Os gan hynny," attebent hwythau, "y mae felly eich ymröad, drwy eich bod yn arfer y fath ddefodau* ac ymarferiadau mewn bywyd ag sydd yn gwbl wahanol oddiwrth bawb eraill, a natur eich bwydydd a'ch diodydd yn perthynu yn unig i chwi eich hunain; bydd yn gwbl angenrheidiol, os mynnech ni yn wragedd, i fod i chwi addoli ein duwiau. Ac ni all fod arwydd amlyccach o'r caredigrwydd ag ydych

---

* Y prif reswm yma, na ellid niweidio neu ddifetha 'r Israeliaid, fel pobl Dduw, ond drwy eu hudo i bechu yn erbyn Duw, a ymddengys yn wir wrth gyflawn hanes y bobl hynny, yn gystal yn y Bibl, ac yn Josephus; ac a nodir yn fynych ym mhob un o honynt. Gwelwch yn neillduol hynod dystiolaeth Amoniad i'r diben hwn, Judith v. 5. 21.

† Yr hyn y mae Josephus yn ei osod yma yngeneuau y merched Midianaidd y rhai a ddaethant i hudo 'r Israeliaid i anlladrwydd ac eilunaddoliaeth: sef, bod eu haddoliad o Dduw Israel yngwrthwyneb i'w heilun-dduwiau hwy, yn arwyddo eu dull o fucheddu yn ol y cyfreithiau sanctaidd, y rhai a roddasai y gwir Dduw iddynt drwy Moses, yngwrthwyneb i'r cyfreithiau llygredig hynny a ddilynid gan eu gau-dduwiau, yn haeddu yn dda ein hystyriaeth; ac sy 'n rhoddi i ni reswm sylweddol am y gofal a ddangosid bob amser dan gyfraith Moses, i gadw 'r Israeliaid oddiwrth eilun-addoliaeth, ac yngwasanaeth y gwir Dduw; yr hyn oedd o ddim llai canlyniad, na pha un a fyddai i bobl Dduw gael eu llywodraethu gan gyfreithiau sanctaidd y gwir Dduw, neu gan gyfreithiau ammhur, wedi deilliaw oddiwrth ddemoniaid, dan yr eilunaddoliaeth paganaidd.

yn ddywedyd fod gennych tu ag attom, na hyn, sef bod i chwi addoli yr un duwiau ag a addolwn ninnau. Canys a oes gan neb reswm i achwyn, wedi eich dyfod i'r wlad hon, fod i chwi addoli y duwiau perthynol iddi? yn enwedig gan fod ein duwiau ni yn gyffredin i bob dynion, a'r eiddo chwithau yn perthynu i chwi eich hun yn unig." Felly dywedasant fod yn rhaid iddynt arfer y fath drefn o ddwyfol addoliad ag yr oedd pawb eraill yn eu dilyn, os amgen dylent chwilio am fyd arall, lle y gallent fyw wrthynt eu hunain, ac yn ol eu cyfreithiau eu hunain.

Yn awr y gwŷr ieuaingc a hudeddwyd drwy eu hoffder o'r merched hyn, i feddwl eu bod yn ymresymmu yn synwyrol. Felly hwy a roddasant eu hunain i fynu i'r hyn a ofynnent, gan droseddu eu cyfreithiau eu hunain; gan ddychymmygu fod amryw dduwiau, a phen-derfynu aberthu iddynt yn ol arfer y wlad honno a'u hordeiniodd hwynt: hwy hefyd a foddlonwyd â threfn ddieithrol eu bwydydd, ac a aethant ym mlaen i wneuthur pob peth fel y mynnai 'r gwragedd iddynt, er ei fod yngwrthwyneb i'w cyfreithiau.—Mor bell yn wir, fel ag yr oedd y troseddiad hwn wedi ymdaenu eisoes drwy holl gynnulleidfa y gwŷr ieuaingc: a hwy a syrthiasant i amryfusedd ag oedd yn llawer gwaeth na'r cyntaf, ac i'r perygl o hollol ddiddymiad eu gosodiadau eu hunain. Canys wedi unwaith i'r ieuengctyd gael prawf o'r ymarferiadau dieithrol hyn, yr oeddynt gyd ag awyddfryd yn eu dilyn; a rhai o'r gwŷr pennaf, y rhai oeddynt yn enwog o herwydd rhinwedd eu tadau, a lygrwyd hefyd gyd ag eraill. Yn enwedig Zimri, un o bennaethiaid llwyth Simeon, a ymgyfeillachodd ag un Cozbi, merch i'r Midianiaid, yr hon oedd o deulu Sur, gwr awdurdodol yn y wlad honno; ac wedi deisyf arno gan ei wraig i ddibrisio cyfreithiau Moses, ac i ddilyn y rhai a arferasai hi,rhoddodd ei gydsyniad iddi; a hynny drwy aberthau yn ol trefn wahanol oddiwrth yr eiddo ei hun, a thrwy gymmeryd menyw ddieithrol yn wraig iddo.

Wedi i bethau ddyfod i'r amgylchiad hwn, Moses a ofnodd rhag iddynt dyfu yn waeth, ac a alwodd y bobl ynghyd yn gynnulleidfa: ni chyhuddodd y pryd hwnnw neb wrth ei enw, megis yn anewyllysio gyrru i anobaith y rhai, drwy gael aros yn guddiedig, a allent ddyfod i edifeirwch: ond efe a ddywedodd, eu bod yn gwneuthur yr hyn nid oedd deilwng o honynt eu hunain, na 'u tadau, drwy ddewis pleserau cnawdol yn hytrach na Duw, a byw yn ol ei ewyllys ef: ei fod yn addas iddynt newid eu helyntiau tra'r ydoedd pethau mewn trefn ddymunol; a chyfrif hynny yn rymmusder, yr hyn, yn lle cynnyg trais i'w cyfreithiau, a'u galluogai i wrthwynebu eu chwantau. Ac heblaw hyn, dywedodd, nad oedd yn beth rhesymmol, wedi iddynt fyw yn gymmedrol yn yr anialwch, i ymddwyn yn afradlon yn amser llwyddiant; ac na ddylent adael i golli mewn amledd, yr hyn a ynnillent pan fyddent ar ychydig. Ac fel hyn y cynnygiodd ddiwygio y gwŷr ieuaingc, a'u dwyn i edifeirwch am yr hyn a wnaethant.

Eithr Zimri a gyfododd i fynu ar ei ol ef, gan ddywedyd, "Iё yn wir, Moses, yr wyt ti yn rhydd i wneuthur defnydd o'r cyfreithiau hynny o ba rai yr wyt mor barchus, a thrwy arfer dy hun iddynt a'u cadarnheaist hwynt. Yn amgen, pe na buasai pethau yn y dull hwn, tydi a gospasid yn fynych cyn hyn, ac a gawsit wybod nad yw 'r Hebreaid yn hawdd i gymmeryd eu caethiwo. Ond ni fydd it' fy nghael i megis un o ddilynwyr dy orchymmynion gorthrymus: canys ni wnaethost ddim arall hyd yn hyn, ond, dan rith o gyfreithiau ac o Dduw, yn ddrygionus ein gorthrymmu â chaethiwed, a cheisio arglwyddiaeth i ti dy hun; tra 'r oeddit yn ein hymddifadu ni o felusdra bywyd, ag sy 'n gynnwysedig mewn gweithredu yn ol ein hewyllysiau, yr hyn ydyw hawl dynion rhydd, a'r rhai nad oes arglwydd i lywodraethu arnynt. Nag ê yn wir, yr wytti yn galettach wrth yr Hebreaid nag oedd yr Aiphtiaid eu hunain, gan gymmeryd arnat gospi yn ol y gyfraith bob un a fo 'n gweithredu yn fwyaf cyttunol ag ef ei hun. Ond tydi dy hunan sydd fwyaf yn haeddu cospedigaeth, yr hwn wyt yn rhyfygu diddymmu y peth y mae pob un yn ei addef yn dda iddo; ac wyt yn amcanu gwneuthur i'th ddychymmygion dy hun

i fod o fwy eu pwys na'r cyffredin; a'r hyn ag wyf fi yn awr yn ei wneuthur, ac yn ei farnu yn uniawn, ni wadaf yn ol hyn ei fod yn gyttunol a'm syniadau. Myfi a briodais, fel y dywedi yn iawn, un o genedl ddieithr; a thi a glywi am yr hyn wyf yn ei wneuthur o honof fy hun fel dyn rhydd; canys yn ddiau ni fwriedais i ddarnguddio fy hun. Yr wyf hefyd yn addef fy mod i yn aberthu i'r duwiau hynny pa rai ni thybi di yn gymmwys aberthu iddynt; ac yr wyf yn ei farnu yn iawn i gyrhaeddyd gwybodaeth drwy ymofyniadau ac amryw bobloedd; ac nid bod fel un yn byw dan ormes-deyrn, gan adael holl ddigwyddiadau fy mywyd i ymddibynnu ar un dyn. Ac ni chaiff un dyn achos i lawenhau, yr hwn a ddengys fod ganddo fwy awdurdod ar ei ymddygiadau, na mi fy hun."

Wedi i Zimri ddywedyd y pethau hyn, ynghylch yr hyn yn ddrygionus a wnaethai efe ac eraill, y bobl a ddistawodd; yn gystal o ran ofn y pethau a ddeuai arnynt, ac o herwydd gweled o honynt eu deddfwr yn anewyllysgar i ddwyn y trahausdra hwn ar y cyffredin ymhellach, neu ymryson ag ef ar gyhoedd. Canys efe a geisiodd ochelyd hynny, rhag i amryw eraill ddilyn digywilydd-dra ei araith ef, a thrwy hynny terfysgu 'r dyrfa. Ar hyn y lliaws a wasgarwyd. Pa fodd bynnag, y cynnygiad drygionus hwn a gyrraeddasai ymhellach, pe na buasai i Zimri gael ei ladd ar yr achos canlynol: Phineas, gwr ag oedd mewn ystyr arall yn rhagori ar weddill y dynion ieuaingc, ac hefyd yn un mwy ei rinwedd na 'i gyfoedion yngraddau uchel ei dad, (canys mab ydoedd efe i Eleazer yr archoffeiriad, ac ŵyr i Aaron, brawd Moses), a flinwyd yn fawr wrth yr hyn a wnaethpwyd gan Zimri. Felly efe a fwriadodd wneud cospedigaeth arno, cyn i'w ymddygiad anfoesol dyfu yn gryfach drwy anghosp, ac mewn trefn i ragflaenu y trosedd hwn i fyned rhagddo ymhellach; yr hyn a ddigwyddai pan adawid y blaenoriaid yn ddigosp. Yr ydoedd efe o gymmaint mawrhydi, yn gystal o ran grym ei feddwl a'i gorpholaeth, fel pan gymmerai arno ryw antur beryglus, ni adawai hi nes cael hollol fuddugoliaeth. Felly efe a ddaeth i babell Zimri ac a'i trywanodd â'i waywffon; ac â hi efe a laddodd Cozbi hefyd. Ar hyn yr holl wŷr ieuaingc oeddynt yn parchu rhinwedd ac yn amcanu at weithred ganmoladwy, a ddilynasant hyfdra Phineas, ac a laddasant y rhai a gaed yn euog o'r un bai a Zimri. Yn ganlynol, llawer o'r rhai a droseddasant a syrthiasant drwy fawrhydi gwrol y gwŷr ieuaingc. Y gweddill a ddifethwyd oll gan bla, yr hwn a osododd Duw ei hun yn gosp arnynt. Felly y bu i eraill, pa rai yn lle eu hannog i fyned ym mlaen yn y fath weithredoedd drygionus, a ddylasant eu hattal hwynt, gael eu cyfrif gan Dduw fel cyd gymmeiriaid â hwynt yn eu drygioni, ac a fuant feirw. Yn ganlynol fe ddifethwyd o'r fyddin ddim llai na phedair mil ar hugain yr amser hwnnw.

Dyma 'r achos paham y cynnyrfwyd Moses i ddifetha y Midianiaid, ymherthynas i ba ymgyrch ni a draethwn ar fyrder, wedi adrodd yn gyntaf yr hyn a adawsom o'r neilldu. Canys nid yw gyfiawn i ni esgeuluso parchu ein deddfwr ar gyfrif ei ymddygiad yn yr achos hwn: canys er darfod i Balaam, yr hwn a anfonasid am dano gan y Midianiaid i felldithio 'r Hebreaid, a phan luddiasid ef i wneuthur felly gan ddwyfol ragluniaeth; etto efe a roddodd yr annogaeth hynny iddynt, drwy wneuthur defnydd o ba un y llygrodd ein gelynion luoedd yr Hebreaid drwy eu dichellion: etto efe a'i hanrhydeddodd drwy osod i lawr ei brophwydoliaethau mewn ysgrifen. A thra 'r ydoedd yn ei allu gymmeryd yr anrhydedd yma iddo ei hun, a pheri i ddynion gredu mai ei ragddywediadau ei hun oeddynt, gan nad oedd neb a allasai fod yn dyst i'w erbyn, a'i gyhuddo am wneuthur felly, etto efe a roddasai dystiolaeth o Balaam, ac a'i hanrhydeddodd â chrybwylliad am dano ef ar yr achos hwn.

## PENNOD VII.

*Am Gospedigaeth y Midianiaid drwy 'r Hebreaid; appwyntio Dilynwr Moses; rhoddi y tir Amoriaidd, &c.*

MOSES, am yr achosion a rag-grybwyllwyd, a ddanfonodd yn erbyn tir Midian fyddin o ddeuddeg mil o wŷr; gan gymmeryd nifer

gydradd allan o bob llwyth; a chan appwyntio Phineas yn llywydd arnynt, yr hwn a ymddiffynai gyfreithiau 'r Hebreaid, ac a osododd gospedigaeth ar Zimri pan droseddodd hwynt.

Yn awr y Midianiaid a wybuant ym mlaenllaw am ddyfodiad yr Hebreaid, ac y goddiweddid hwynt ganddynt ar fyrder. Felly hwy a gynnullasant eu byddinoedd, ac a gadarnhasant y tramwyfeydd i mewn i'w gwlad, gan ddisgwyl yno am nesâd eu gelynion. Wedi eu dyfodiad yno, ac ymgyssylltu ynghyd â hwynt mewn brwydr, rhifedi aneirif o'r Midianiaid a syrthiasant, ym mysg y rhai yr oedd eu pum brenin; Evi, Sur, Reba, Hur, a Rekem; y diweddaf o ba rai ydoedd o'r un enw a phrifddinas Arabia, yr hon hyd yn awr a enwir felly gan yr holl genedl Arabaidd, Arecem, oddi wrth enw y brenin a'i hadeiladodd hi; ond gan y Groegiaid hi a elwir Petra. Yn awr wedi dadymchwel y gelynion, yr Hebreaid a ysglyfaethasant eu gwlad, ac a gawsant yspail lawer, gan ddifetha y dynion oedd yn preswylio ynddi, ynghyd â'r gwragedd; yn unig hwy a arbedasant y gwyryfon, fel y gorchymmynasai Moses i Phineas; yr hwn yn wir a ddychwelodd yn ol gyd â'i fyddin fuddugoliaethus, a chanddynt ddeuddeng mil a deugain o anifeiliaid duon—pymtheg mil a thrugain a saith gant o ddefaid—a thrugain mil o assynod, gyd ag amldra dirifedi o ddodrefn aur ac arian, y rhai a ddefnyddiai 'r Midianiaid yn eu tai, canys yr oeddynt yn gyfoethog i ormodedd. Cymmerwyd hefyd yn gaethion ynghylch * deg mil ar hugain o wyryfon. Felly Moses a ddosparthodd yr ysglyfaeth yn rhannau, ac a roddodd un deg a deigeinfed ran i Eleazar ac i'r offeiriaid; a deg a deigeinfed ran arall i'r Lefiaid; ac a ddosparthodd weddill yr ysglyfaeth rhwng y bobl. Ar ol hyn buont fyw yn happus, drwy ddarfod iddynt feddiannu y fath gyflawnder o bethau daionus o herwydd eu gwrolder; ac heb anhap yn eu cyfarfod, na 'u lluddias i fwynhad o'r fath ddedwyddwch.

Moses yn awr wedi tyfu yn oedrannus, a appwyntiodd Joshua i fod yn ddilynwr iddo; † i dderbyn cyfarwyddiadau gan Dduw, fel prophwyd; ac i fod yn flaenor y fyddin, os byddent un amser yn sefyll mewn diffyg o'r cyfryw un. A hyn a wnaethpwyd drwy orchymmyn Duw; fel iddo ef y rhoddid gofal y cyffrediu. Yn awr Joshua a hyfforddasid mewn pob math o ddysgeidiaeth perthynol i'r cyfreithiau, ac i Dduw ei hun; a Moses a fuasai yn ddysgawdwr iddo.

Y pryd hyn yr oedd dau o'r llwythau, sef Gad a Reubel, a hanner llwyth Manasseh, yn meddiannu amldra o bob rhyw anifeiliaid, yn gystal a phob math arall o lwyddiant: o herwydd hyn cyfarfuasant ynghyd, ac a ddeisyfiasant ar Moses roddi iddynt, megis eu cyfran neillduol, dir yr Amoriaid, pa ûn a ynnillasent drwy ryfel, o herwydd ei fod yn ffrwythlon, ac yn gymmwys i borfäau anifeiliaid. Ond Moses gan feddwl eu bod yn arswydo ymladd â'r Canaaneaid, ac yn dyfeisio y cynnaliaeth yma i'w hanifeiliaid fel gwych ymesgusodiad i ochelyd y rhyfel, a feiodd arnynt; ac a ddywedodd lunio o honynt hyn yn unig fel esgusodiad i'w hofnusrwydd; eu bod hwy yn ewyllysio byw yn esmwyth ac yn foethus, tra y byddai eraill yn llafurio mewn poen ddirfawr i feddiannu 'r tir ag oeddynt yn ei chwennychu, a hwythau yn anufudd i fyned dan y rhan sy 'n ol o'r gwasanaeth caled, drwy 'r hyn yr oeddynt dan addewid o gael myned dros yr Iorddonen, i ddifetha y

* Lladdfeydd y merched Midianaidd, a roesant eu hunain yn butteiniaid i'r Israeliaid anllad, a chadwedigaeth y rhai ni fuasent euog o hynny, y diweddaf o ba rai nid oeddynt lai mewn nifer na 32000, yma ac yn Num. xxxiii. 15,--17. 35, a phob un wrth orchymmyn pendant Duw sydd dra hynod; ac yn dangos fod weithiau mewn cenedlaethau a bennodid i ddinystr am eu drygioni, rai diniweid yn cael yn neillduol ac yn rhagluniaethol ofalu am danynt, a'u gwaredu rhag y cyfryw ddinystr. Yr hyn sydd yn uniawn arwyddo, mai drygioni cenedlaethau Canaan, a dim arall, a fu 'n achos o'u torriad ymaith. Gwel Gen. xv. 16, 1 Sam. xv. 18, 33. Yn y cyntaf o ba fannau y rhoddir rheswm am oedi dinystr yr Amoriaid, o herwydd na chyflawnasid eu hanwiredd hwynt. Yn yr ail, gorchymmynir i Saul fyned i ddifetha y pechaduriaid, yr Amaleciaid; gan arwyddo yn amlwg, eu bod i gael eu dinystrio o herwydd eu pechadurusrwydd, ac nid dim arall. Yn y trydydd lle, y rheswm a roddir, paham na arbedid y brenin Agag: sef, oblegid ei greulondeb blaenorol; megis y diblantodd dy gleddyf di wragedd yr Hebreaid, felly y diblentir dy fam dithau ym mhlith gwragedd, gan yr Hebreaid. Yr Apostolion hefyd, neu Clemens eu rhaglaw, sy 'n rhoddi y rheswm hwn am yr angenrheidrwydd o ddyfodiad Crist, fod dynion yn flaenorol i hynny wedi gwyrdroi y gyfraith, a myned yn wrthwyneb i naturiaeth: ddarfod iddynt anghofio y dilyw, a dinystr Sodoma a Gomorra; y plaau ar yr Aiphtiaid, a lladdfa preswylwyr Palestina, megis arwyddion rhyfedd o anedifeirwch ac annheimladrwydd dan gospedigaeth yr anwireddau mwyaf arswydus. Constitut. Apost. viii 12. t. d. 402.

† Num. xxvii. 22. Deut. xxxiv. 9.

gelynion a ddaugosodd Duw iddynt, ac i feddiannu eu tir. Ond y llwythau hyn pan welsant fod Moses yn ddig wrthynt, a phan na allent wadu fod ganddo gyfiawn achos i anfoddloni wrth eu gofyniad, a wnaethant amddiffyniad drostynt eu hunain; gan ddywedyd, nad ar gyfrif eu hofn o beryglon, nac o herwydd eu difräwch yr oeddynt yn gofyn hyn, ond fel y gadawent yr ysglyfaeth a gawsent mewn lleoedd o ddiogelwch, a thrwy hynny bod yn fwy ymdrechgar a pharod i fyned trwy anhawsderau ac ymladd brwydrau. Chwanegasant hefyd, mai pan adeiladent ddinasoedd, ym mha rai y gallent ddiogelu eu plant, eu gwragedd, a'u meddiannau, os rhoddai hwynt iddynt, yr elent hwy ym mlaen i Ganaan gyd â rhannau eraill y fyddin. Ar hyn Moses a alwodd am Eleazar yr archoffeiriad, a Joshua, a phennaeth y llwythau, ac a ganiattaodd i'r llwythau hyn feddiannu tir yr Amoriaid; eithr ar yr ammod hwn, y byddai iddynt gyd-ymgyssylltu â'u carennydd yn y rhyfeloedd canlynol nes eu diweddu, a'r cwbl oll gael ei sefydlu. Ar yr ammod yma, gan hynny, hwy a gymmerasant feddiant o'r wlad, ac a adeiladasant ddinasoedd cryfion, ac a osodasant eu plant a'u gwragedd ynddynt, a pha beth bynnag arall oedd ganddynt, ag a allai fod yn rhwystr iddynt ar eu teithiau milwraidd yng Nghanaan.

Moses hefyd yn awr a adeiladodd y deg dinas, y rhai oeddynt i fod o nifer yr wyth a deugain i'r Lefiaid. Tair o'r rhai hyn a bennododd i'r hwn a laddai ryw un yn anfwriadol, i ffoi iddynt; ac efe a osododd yr un mesur o amser i'w halldudiad a pharhad o fywyd yr archoffeiriad, dan ba un yr oedd y llofruddiaeth a'r ffoedigaeth wedi digwydd; yn ol pa amser yr oedd cennad i'r llawruddiog ddychwelyd adref: eithr perthynasau yr hwn a laddasid oedd a chanddynt awdurdod i ddïal ar y llofrudd, os delid ef y tu allan i derfynau y ddinas y ffoisai iddi. Yn awr, y dinasoedd a neillduwyd i'r ffoedigaeth yma ydoedd Bezer, ar gyffiniau Arabia; Ramoth, yn nhir Gilead; a Golan, yn nhir Basan. Yr ydoedd i fod hefyd, wrth orchymmyn Moses, dair o ddinasoedd wedi eu pennodi yn breswylfeydd i'r ffoaduriad hynny, allan o ddinasoedd y Lefiaid; ond nid cyn iddynt feddiannu gwlad Canaan.

Ar yr amser hwn daeth pennaethiaid llwyth Manasseh at Moses, gan hyspysu iddo, i fod gwr enwog o'u llwyth hwynt wedi marw, enw yr hwn ydoedd Zelophehad, i ba un yr ydoedd merched, ac heb un mab; ac efe a ofynodd a allai'r merched etifeddu ei dir * ef, ai nis gallent? Atebodd iddo y modd hwn; os priodent rai o'u llwyth eu hun, yr arosai eu hetifeddiaeth gyd â hwynt; ond os priodent rai o lwyth arall, y gadawent eu hetifeddiaeth gyd â llwyth eu tad. Ac yno y bu ddarfod i Moses ordeinio, fod i etifeddiaeth pawb aros yn y llwyth a berthynai iddynt.

## PENNOD VIII.

*Am drefn y llywodraeth a sefydlwyd gan Moses; a'i ymadawiad o blith Dynolryw.*

WEDI † cyflawni deugain mlynedd, o fewn deg ar hugain o ddyddiau, Moses a gasglodd ynghyd y gynnulleidfa yn agos i'r Iorddonen, lle y mae y ddinas Abila yn awr yn sefyll, yr hwn le sydd lawn o balmwydd; ac wedi dyfod yr holl bobl ynghyd, efe a lefarodd wrthynt y modd hwn:

"O chwychwi Israeliaid a chydfilwyr! y rhai a fuoch gymmeiriaid i mi yn y daith hir a llafurus hon. Yn gymmaint a bod yn awr ewyllys Duw, a chynnydd oedran yn ol y mesur o ugain mlwydd a chant, ‡ yn galw am fy ymadawiad â'r bywyd hwn; ac wedi i Dduw ballu cydsyniad i mi fod yn olygwr arnoch yn yr hyn ag sy'n aros i'w wneuthur y tu arall i'r Iorddonen; meddyliais ei fod yn rhesymmol i beidio rhoddi heibio fy ymdrechiadau, ïe yn awr, er eich dedwyddwch, ond i arferyd yr eithaf er ynnill i chwi dragywyddol fwynhad o bethau daionus, ac er coffadwriaeth o honof fy hun, pan fyddwch chwi mewn mwynhad o ddigonedd a mawr lwyddiant. Goddefwch i mi, gan hynny, osod o'ch blaen y moddion drwy ba rai y mae i chwi fod yn ddedwydd, a gadael tragywyddol

* Num. xxxvi. 2, 12. † O'r Fl. 1552 hyd 1492 c. c.

‡ Deut. xxxi. 2.

lwyddiannus etifeddiaeth i'ch plant ar eich ol; ac yna bydded i mi ymadael â'r byd.

Ac ni all na haeddwn fy nghredu gennych, ar gyfrif y pethau mawrion a wnaethum eisioes drosoch chwi, ac oblegid pan fo eneidiau ynghylch ymadael â'u cyrph, y maent yn llefaru gyd â'r difrifwch a'r rhyddid mwyaf. O * blant Israel! nid oes ond un ffynnon o happusrwydd i holl ddynolryw, sef ffafr Duw: canys efe yn unig sy'n alluog i gyfrannu pethau daionus i'r sawl a'u haeddent, ac ymddifadu y rhai hynny o honynt sy'n pechu yn ei erbyn. Os ymddygwch eich hunain yn ol ei ewyllys ef, ac yn ol yr hyn wyf fi, sy'n deall ei feddwl ef, yn eich cynghori i wneuthur, chwi a gyfrifir yn fendigedig, ac a'ch perchir gan bob dynion, ac ni ddeuwch fyth i aflwydd, neu beidio a bod yn happus: yna y cedwch feddiant o'r pethau daionus sydd yn barod gennych, ac yn fuan a fwynhewch y pethau yr ydych yn bresennol yn ddiffygiol o honynt. Yn unig byddwch ufudd i'r sawl a fynnai Duw i chwi eu dilyn. Ac na ddewiswch reolau neu lywodraeth arall o flaen y cyfreithiau a osodwyd eisoes i chwi; ac na wrthodwch y drefn honno o ddwyfol addoliad sydd yn awr gennych, ac na newidiwch hi am un ffurf arall. Ac os gwnewch yn ol hyn, chwi a fyddwch yn gefnoccaf o'r holl ddynion, o dan flinderau rhyfel; ac ni orchfygir chwi yn hawdd gan neb o'ch gelynion. Canys tra b'o Duw yn bresennol i'ch cynnorthwyo, gellir disgwyl i chwi fod yn alluog i ddiystyru gwrthwynebiad holl ddynolryw. A gwobrwyon mawr rhinweddol a osodir i chwi, os dilynwch rinwedd dros eich holl fywyd. Rhinwedd ei hun yn wir, sydd yn wobr pennaf a blaenaf, ac yn ganlynol i hon efe a gyfranna amldra o rai eraill. Felly eich arfer o rinwedd tu ag at ddynion a wna eich bucheddau eich hun yn ddedwydd, ac a'ch gwna yn fwy godidog nag y dichon dieithriaid fod; ac a ennilla glod diddadl i chwi ym mhlith eich hiliogaeth. Y bendithion hyn a ellwch fwynhau, drwy wrando a dal sulw ar y deddfau hynny, pa rai, drwy ddwyfol ddatguddiad, a draddodais i chwi; hynny yw, os myfyriwch ar y ddoethineb sydd ynddynt. Yr wyf fi yn awr yn myned oddi wrthych, gan lawenychu yn y pethau daionus a fwynhewch; ac yr wyf yn eich gorchymmyn i ddwyfol arweiniad eich cyfraith, i drefn gymmwys eich llywodraeth, ac i rinwedd eich blaenoriaid, y rhai a ofalant am yr hyn a fyddo er eich lleshad a'ch daioni. A'r Duw hwnnw ag a fu hyd yn hyn yn arweinydd i chwi, a thrwy ewyllys da yr hwn y bum fy hunan yn ddefnyddiol i chwi, ni esyd yn awr derfyn i'w ragluniaeth i weithredu drosoch: ond cyhyd ag y chwennychoch ei gael ef yn amddiffynwr i chwi, yn eich dilyniad o rinwedd, cyn belled a hynny y mwynhewch ei ofal drosoch. Eich archoffeiriad hefyd, Eleazar, yn gystal a Joshua, a'r henuriaid, a phennau eich llwythau, a ânt o'ch blaen chwi, ac a roddant yr annogaethau goreu i chwi, drwy ddilyn cynghorion pa rai y parhewch yn ddedwydd: iddynt hwy, gan hynny, rhoddwch wrandawiad yn ddirwgnach; megis yn cydnabod fod y rhai oll a wyddant pa fodd y dylid eu llywodraethu yn deall oreu y modd i gymmeryd llywodraeth arnynt, os derchefir hwy i feddiant o'r awdurdod eu hunain. Ac na chyfrifer gennych chwi fod rhydd-did yn gynnwysedig mewn gwrthwynebiad o'r fath reolau ag a farno eich llywodraethwyr yn addas i'ch ymarferiadau; megis y mae yn wir yn bresennol rai o honoch, yn cyfrif eich rhydd-did mewn dim yn amgen na gosod amharch ar eich blaenoriaid: yr hwn gyfeiliornad os gochelwch yr amser a ddaw, fe fydd eich achosion mewn gwell amgylchiad nag y buont hyd yn hyn. Ac na arferwch y fath radd o fyrbwylldra yn eich materion, megis yn fynych y gwnaethoch, pan fyddech yn dra digofus tu ag attaf fi: canys chwi wyddoch fy mod mewn perygl am fy mywyd yn fynychach oddi wrthych chwi nag oddi wrth ein gelynion. Yr hyn wyf yn awr yn ei osod at eich ystyriaethau, nid i 'ch gwradwyddo

* Josephus yn yr unig ymadrodd hwn sy 'n crynhoi i fynu ei dyb am gynghorion maith a difrifol Moses yn llyfr Deuteronomium, a'i eirian ydynt mor wir, ac o'r fath bwys, a'u bod yn haeddiannol o'u cadw mewn coffadwriaeth barhaus gan Iuddewon a Christionogion: "O blant Israel! nid oes ond un ffynnon o happusrwydd i holl ddynolryw—ffafr Duw.

y mae; canys nid wyf yn ei olygu yn addas, a mi yn awr ar ymadael â'r byd, i ddwyn pethau i 'ch côf mewn trefn i 'ch gadael yn dramgwyddedig tu ag attaf; tra ar yr amser y dioddefais y cam-driniaeth yma ni fum yn ddig wrthych: ond yr wyf yn crybwyll hyn i'r diben i'ch gwneud yn ddoethach rhagllaw; ac i'ch dysgu i wybod mai hyn a fydd er eich diogelwch; fy meddwl yw na fyddoch un amser yn eiddigeddus tu ag at y sawl a fo yn golygu drosoch, ïe pan ddeloch yn berchennogion ar gyfoeth, yr hyn a fyddwch i raddau mawr pan eloch dros yr Iorddonen, ac y meddiannoch dir. Ac wedi unwaith y deloch i feddiannu cyfoeth mor fawr ag i beri i chwi ddirmygu a dibrisio rhinwedd, yna y fforffetiwch hefyd ffafr Duw; ac wedi ei wneuthur ef yn elyn i chwi, gorchfygir chwi mewn rhyfel, a chymmerir y tir a feddiennwch oddi arnoch gan eich gelynion: a hyn gyd â gwarthrudd mawr ar eich ymddygiad. Chwi a wasgarir dros yr holl fyd; ac a fyddwch megis caethweision, yn llenwi tir a mor; a phan unwaith y profoch yr hyn wyf yn awr yn ei ddywedyd, chwi a edifarhewch, ac a gofiwch y deddfau a dorrasoch, pan fyddo yn rhy ddiweddar. O herwydd paham myfi a'ch cynghorwa, os bwriedwch gadw y deddfau hyn, na adawoch neb o'ch gelynion yn fyw, pan orchfygwch hwynt; ond i edrych arno fel lleshad i chwi eu difetha oll; rhag os gadewch hwynt yn fyw, i ddysgu o honoch eu harferion, ac wrth hynny llygru eich priodol osodiadau eich hunain. Yr wyf hefyd ymhellach yn eich cynghori i ddadymchwelyd eu hallorau, i ddifetha eu llwyni, a pha demlau bynnag sydd ganddynt yn eu mysg; ac i losgi'r cwbl o eiddo eu cenedl a'u coffadwriaeth yn tân. Canys trwy 'r moddion yma yn unig y sicrheir eich sefydliad dedwyddol eich hun i chwi. Ac mewn trefn i ragflaenu eich anwybodaeth o rinwedd, a dirywiad eich natur at ddrygioni, myfi hefyd a ordeiniais i chwi gyfreithiau o ddwyfol draddodiad, a dull o lywodraeth; y rhai ydynt mor bur ac uniawn, fel os bydd i chwi eu dilyn hwynt, chwi a gyfrifir o bob dynion yn fwyaf dedwyddol."

Wedi iddo lefaru y modd hwn, efe a roddodd attynt y cyfreithiau a'r trefniadau o lywodraeth wedi eu hysgrifennu mewn llyfr. Ar yr hyn y bobl a syrthiasant mewn dagrau, ac a ymddangosasant eisoes megis wedi eu cyffwrdd â theimlad o ddiffyg mawr am eu harweinydd; o herwydd cofio o honynt y fath nifer o beryglon a aethai efe drwyddynt, a pha ofal a gymmerasai er eu diogelu hwynt. Hwy a ddigalonasant ynghylch yr hyn a ddeuai arnynt ar ol ei farwolaeth ef, gan feddwl na chaent fyth lywodraethwr arall cyffelyb iddo ef, ac ofni y gofalai Duw lai am danynt pan elai Moses ymaith, yr hwn a arferai eiriol drostynt. Yr oedd hefyd yn edifar ganddynt yr hyn a lefarasant wrtho yn yr anialwch mewn digter, a gofidiasant oblegid y pethau hyn. Felly fe syrthiodd holl gorph y bobl mewn dagrau, ac i'r fath drwm alar, fel ag yr ydoedd tu hwnt i allu neb eu cyssuro yn eu trallod. Pa fodd bynnag, Moses a'u cyssurodd hwynt; a chan eu galw oddiwrth fyfyrdod o'r modd yr oedd efe yn deilwng o'u galar am dano, efe a'u cynghorodd i lynu wrth y ffurf o lywodraeth a draddodasai efe iddynt. Ac yna y gynulleidfa a ollyngwyd ymaith y pryd hwnnw.

Bydd i mi yn awr ddesgrifio y ffurf yma o lywodraeth, yr hon oedd gyttunol â mawredd ac â rhinwedd Moses, a thrwy hynny a wnaf yn hyspys i ddarllenwyr yr Hynafiaethau hyn beth ydoedd ein dechreuol sefydliad, ac yna myned ym mlaen â gweddill yr hanesyddiaeth. Yn awr y sefydliadau hyn ydynt etto mewn ysgrifen, megis ag y gadawyd ganddo ef, ac ni chwanegwn ddim attynt mewn ffordd o addurniad, nac un peth arall heblaw yr hyn a adawodd Moses i ni; yn unig ni a'u hadnewyddwn mor bell ag i grynhoi yr amrywiol ddull o gyfreithiau ynghyd yn un corph rheolaidd. Canys fe 'u gadawyd ganddo ef mewn ysgrifen yn wasgaredig, megis yn achlysurol y dysgodd hwynt gan Dduw, ac a'u traddododd yn ddamweiniol i'r bobl. Ar ba gyfrif tybiais yn angenrhaid i ragddangos hyn o sylwiad, rhag fy meio gan neb o'm cydwladwyr, megis yn troseddu yn hyn. Yn awr rhan o'n sefydliad cenhedlaethol a gynnwys y cyfreithiau perthynol i'n gwladwriaeth;

ond am y cyfreithiau a adawodd Moses ynghylch ein hymarweddiad, a'n hymddygiad cyffredin y naill tu ag at y llall; mi gedwais hynny fel defnydd o draethawd ynghylch ein dull o fucheddu, a'r achosion o'r cyfreithiau hynny; yr hwn a addawaf im' fy hun, gyd â chymmorth Duw, ei ysgrifennu, wedi y gorphenwyf y gwaith ag wyf yn awr arno.

Pan feddiannoch i chwi eich hunain wlad Canaan, ac a chennych hamdden i fwynhau ei phethau daionus, a phan yn ol hynny y bwriadoch adeiladu i chwi ddinasoedd, os gwnewch yr hyn a fo dda yngolwg Duw, chwi a drigwch mewn cyflwr diogel a dedwydd. Bydded gan hynny fod un ddinas yng ngwlad Canaan; a hon â'i sefyllfa yn y rhan fwyaf dymunol o honi, ac yn odidog ynddo ei hun; a bydded ei bod yr un hynny a ddewiso Duw iddo ei hun drwy brophwydoliaethol ddatguddiad. Bydded yno hefyd un deml, ac un allor, nid wedi ei gwneuthur o gerrig nadd, ond y cyfryw ag a gesglir wrth amcan; pa ryw gerrig wedi eu gwynnu drosodd â phriddgalch a ymddangosant yn deg ac yn hardd i'r olwg. Bydded fod yr esgynfa atti * nid wrth risiau, ond â goriwfynu o ddaear wedi ei chodi ar ei gilydd. Ac na fydded allor neu deml yn un ddinas arall. Canys un yw Duw, a chenedl yr Hebreaid nid yw ond un.

Yr hwn a gablo Dduw, llabyddier ef, † ac arosed yng nghrog ar bren drwy 'r holl ddydd hwnnw; ac yna cladder ef mewn modd dirmygus a disulw.

Bydded i'r rhai a fo'n byw mor bell ag y byddo terfynau y tir a feddiauna 'r Hebreaid yn cyrraedd, ddyfod i'r ddinas honno lle y byddo 'r deml, a hynny dair ‡ gwaith yn y flwyddyn; fel y dychwelont ddiolchgarwch i Dduw am ei roddion o'r blaen, ac yr erfyniont arno am yr hyn a fo 'n eisiau yn yr amser i ddyfod: a bydded iddynt drwy 'r moddion hyn gynnal cyfeillgarwch cymdeithasgar â'u gilydd, drwy 'r cyfryw ymgyfarfod a chydwledda. Canys mae 'n ddaioni i'r rhai sydd o'r un hil, a than yr un gosodedigaethau, i beidio a bod yn anhyspys o'u gilydd; yr hwn hyspysrwydd neu adnabyddiaeth y naill o'r llall, a gedwir i fynu drwy 'r ymgyfarfod hwn, a thrwy weled ac ymddiddan â'u gilydd, ac felly adfywio 'r coffadwriaethau o'r undeb hwn. Canys os na chydgyfeillachant yn barhaus y modd yma â'u gilydd, hwy a ymddangosant megis dieithriaid anserchus y naill i'r llall.

Cymmerer allan o'ch ffrwythau ddegfed § ran, heblaw yr hyn a drefnwyd i'w roddi i'r offeiriaid a'r Lefiaid. Hwn yn wir a ellwch werthu yn y wlad, ond y mae i'w ddefnyddio yn y gwyliau a'r aberthau a gynhelir yn y ddinas sanctaidd. Canys y mae 'n gymmwys i chwi fwynhau ffrwythau 'r ddaear ag y mae Duw yn eu rhad-roddi i chwi, felly fel ag y byddo er anrhydedd i'r cyfrannwr.

Nid ydych i offrymmu aberthau allan o gyflog ‖ putteinwraig; canys nid yw 'r Duwdod yn foddlon i un peth a darddo oddiwrth y fath gam arfer o naturiaeth; o ba ryw fath ni all fod un yn waeth na 'r halogrwydd yma o gyrph dynion; yn yr un modd ni all neb gymmeryd pris am y naill gi yn llammu 'r llall; nac am yr un a arferir i hela pryfed gwylltion, neu gadw defaid; ac o hynny aberthu i Dduw.¶

Na fydded i neb gablu y duwiau ** a gyfrifir y fath mewn dinasoedd eraill. Ac ni all neb ladratta yr hyn a berthyn i demlau dieithr, na chymmeryd ymaith y rhoddion a gyssegrir i dduwiau eraill.

* Y gyfraith hon, yma ac yn Exod xx. 25, 26. am beidio a myned i fynu at allor Duw ar hyd grisiau, ond ar hyd goriwfynu wedi ei wneud o ddaear, a ymddengys yn amherthynol i allor y tabernacl, i'r hon nid oedd oll ond tri chufydd o uchder: Ecsod. xxvii. 1. nac i'r un hynny yn Ezeciel, yr hon oeddid i esgyn i fynu atti yn gymmwys ar hyd grisiau pen. xliii. 17. ond yn hytrach at allorau achlysurol o uchder a maintioli mwy eang; megis yr allor yn nheml Solomon, at yr hon y cymhwysir y desgrifiad yma gan Josephus; yn gystal ag at deml Zorobabel a Herod; y rhai, fel yr wyf yn tybied, ydoedd bob un yn ddeg cufydd o uchder. Gwel. 2 Cron. iv. 1. a Hynaf. Jos., VIII. 3. A'r rheswm paham yr ydoedd y temlau hyn, a hwy yn unig, a'r ddisgynfa hon i'w hallorau drwy oriwfynu, ac nid ar hyd risiau sydd amlwg; oblegid mai cyn gwneuthuriad grisiau, y cyfryw ag sy'n awr gennym, ni allai'r fath harddwch gael ei ddangos wrth arferyd y gwisgoedd offeiriadol ag oedd y gyfraith yn ei ofyn. Gwel Lamy am y tabernacl a'r deml, t. d. 444.

† Lef. xxiv. 86. ‡ Exod. xxiii. 14. Deut. xvi. 16. § Lef. xxvii. 30.

‖ Cyflog putteiniaid cyffredin a offrymmid i Fenus yn Syria, fel yr hyspysa Lucian i ni, t d. 878. Ac yn erbyn rhai o'r fath ymarferiadau drygionus yr hen eilun-addolwyr, fe ymddengys fod y gyfraith hon wedi ei gwneuthur. ¶ Deut. xxiii. 18.

** Y Gosodiadau Apostolaidd II, sydd yn egluro y gyfraith hon o eiddo Moses, Exod. xxii. 28. fel y canlyn: "Na ddifenwa ac na chabla y duwiau," am swyddogion; yr hwn sydd esponiad mwy tebygol a'r un yma o eiddo Josephus am dduwiau cenhedlig.

Na wisged neb o honoch ddilledyn wedi ei wneuthur o wlan a llin; * canys honno a appwyntiwyd i'r offeiriaid yn unig.

Pan gyfarfyddo y lliaws ynghyd yn y ddinas sanctaidd i aberthu bob saith mlynedd, ar wyl y pebyll, safed yr archoffeiriad i fynu ar ddarllenfa, o'r lle y gellir ei glywed, a darllened y cyfreithiau † i'r holl bobl. Ac na fydded i wragedd, neu blant, na gwasanaeth-ddynion gael eu rhwystro i wrando. Canys da fyddai i'r cyfreithiau hyn gael eu hargraphu yn eu heneidiau, a'u cadw yn eu coffadwriaethau yn y fath fodd na byddo yn bossibl eu dilëu o honynt. Canys drwy hyn ni fyddant euog o bechu, pan na allont ddadleu anwybodaeth o'r hyn yr oedd y gyfraith yn ei orchymmyn. Bydd gan y cyfreithiau hefyd awdurdod mawr yn eu plith, megis yn rhagfynegi yr hyn a ddioddefant os torrant hwynt, ac argraphu yn eu heneidiau drwy eu gwrandaw yr hyn a barant iddynt ei wneuthur. Fel wrth hynny y byddo bob amser yn eu meddyliau y rhannau hynny o'r gyfraith a ddiystyrasant ac a droseddasant, ac a fuont drwy hynny yn achosion o'u holl flinderau. Bydded i blant hefyd ddysgu gwybod y cyfreithiau, megis y pethau cyntaf a osodir o'u blaen, yr hyn a fydd y peth goreu a allant ei ddysgu, ac a fydd yn achos o'u dedwyddwch canlynol. ‡

Bydded i bob un gadw coffadwriaeth gerbron Duw, o'r bendithion a gyfrannodd iddynt yn eu gwaredigaeth o wlad yr Aipht, a hynny ddwywaith bob dydd; sef ar ddechreuad y diwrnod, a phan ddel oriau gorphwysdra. Gan fod diolchgarwch o'i natur ei hun yn beth cyfiawn; ac yn gwasanaethu nid yn unig fel cydnabyddiaeth o bethau a aeth heibio, ond hefyd math o ddeisyfiad am ffafr mewn amserau i ddyfod. Y maent hefyd i nodi y prif fendithion a dderbyniasant gan Dduw ar eu drysau, ac arwyddo coffadwriaeth o honynt ar eu breichiau; § hefyd i ddwyn arwydd ar eu talcenau a'u braich o'r rhyfeddodau hynny ag oedd yn datgan gwyrthiau Duw, a'i ewyllys da tu ag attynt; fel y byddai parodrwydd Duw i'w bendithio hwynt yn ymddangos yn amlwg ym mhob lle o'u hamgylch. ‖

Bydded fod saith o wŷr i farnu ¶ ym mhob dinas; ** a'r rhai hynny yn gyfryw ag a fu o'r blaen yn fwyaf gwresog yn yr ymarferiad o rinwedd a chyfiawnder. Bydded i bob barnwr ddau swyddog wedi eu pennu iddo, allan o lwyth Lefi. Bydded y rhai a ddewiswyd i farnu ym mhob dinas fod mewn parchedigaeth mawr; ac na oddefer i neb ddifenwi eraill pan fyddo y rhai hyn yn bresennol, nac ymddwyn eu hunain mewn modd trahaus tu ag attynt. Gan ei fod yn beth naturiol i barch tu ag at y rhai mewn uchel swyddau ym mysg dynion, i beri ofn a pharch mewn dynion tu ag at Dduw. Rhodder i'r rhai a fo'n barnu gael penderfynu achosion fel y gwelont yn gymmwys, oddigerth i ryw un allu dangos eu bod wedi derbyn gwobr, i wyrdroi cyfiawnder, neu ddwyn rhyw gyhuddiad arall yn eu herbyn, drwy 'r hyn y dengys ddarfod iddynt roddi dedryd anghyfiawn. Canys nid yw gymmwys i achosion gael eu penderfynu yn gyhoeddus er mwyn elw, neu uchafiaeth y pleidiau; ond bod i'r barnwyr olygu yr hyn sydd gyfiawn o flaen pob peth; canys yn amgen Duw a ddirmygir, ac a gyfrifir yn is-radd na hwynt-hwy, ofn pa rai a fu'n achos o anghyfiawnder y ddedryd. Canys cyfiawnder a dardda oddiwrth awdurdod Duw; yr hwn gan hynny sy'n gofalu yn bennaf am foddhau y mawrion, a'u cyfrifa yn alluoccach na Duw ei

* Lef. xix, 19.

† Pa lyfr o'r gyfraith a ddarllenid fel hyn yn gyhoeddus, gwel nod ar X. 5. a'r 1 Esdr. ix. 50---55.

‡ Deut. xxxi. 12.

§ Pa un a oedd y phylacterau hyn, a choffadwriaethau Iuddewaidd eraill o'r gyfraith, a grybwyllir yma gan Josephus, a chan Moses, (heblaw y rhidens ar ymylau eu gwisgoedd, Num. xv. 37,) yn cael ei fwriadu yn llythyrennol gan Dduw, yr wyf yn ei gwestiyno. Iddynt gael eu harferyd yn hir gan y Phariseaid, a'r Iuddewon Rabbiniaidd, sydd sicr. Pa fodd bynnag y Carathiaid, y rhai ni dderbynient draddodiadau yr hynafiaid, ond a gadwent yn gyfagos at y gyfraith ysgrifenedig, gyd â Jerom a Grotius, a dybiasant nad oeddynt i'w deall yn llythyrennol: megis y mae Bernard a Reland yn dal sulw. Ac yn wir nid wyf yn cofio fod yn y llyfrau hynaf o'r Hen Destament, neu yn y llyfrau a alwn Apocrypha, nemmor o arwyddion o'r fath sulw llythyrennol o bethau yn ymddangos ym mysg yr Iuddewon. Eithr eu gwir neu ddirgel ystyr, h. y. gwastadol goffadwriaeth o sulw o holl gyfreithiau Duw a Moses, a nodir yn fynych yn yr amrywiol ysgrifeniadau cyssegredig.

‖ Num. xv. 38, 39.

¶ Yma, yn gystal ag yn Hanes y Rhyf. II. 20. nid oes ond saith barnwr yn cael eu happwyntio ym mhob dinasoedd bychain, yn lle tri ar hugain yn ol dywediadau y Rabbiniaid diweddar; pa Rabbiniaid nid ydynt yn wastadol i'w credu ond ychydig mewn cydmariaeth i Josephus.

** Deut. xv. 18.

hun. Ond os yw'r barnwyr hyn yn annigonol i roddi iawn farn ynghylch yr achosion a ddel o'u blaen; (yr hyn beth nid yw anfynych mewn tuedd dynol,) danfonent yr achos heb ei benderfynu i'r ddinas sanctaidd; ac yno bydded i'r archoffeiriad, y prophwyd, a'r prif gyngor benderfynu fel y gwelont orau.

Ond na rodder crediniaeth i dyst unigol; ond i dri, neu ddau o leiaf, a'r rhai hynny yn gyfryw ag y b'o eu tystiolaeth yn cael ei gadarnhau drwy uniondeb eu bucheddau. Ond na dderbynier tystiolaeth gan ferched, * ar gyfrif eu rhyfyg ac ëondra eu natur. Ac na chaed gwasanaeth-ddynion ddwyn tystiolaeth oblegid gwaeldra eu hysprydoedd, gan, ysgatfydd, y gallant fod heb ddywedyd y gwir, un ai drwy obaith am elw, neu ofn cospedigaeth. Ond os credir am ryw un iddo ddwyn cam-dystiolaeth, gadawer iddo, pan gyhudder ef, ddioddef yr holl gospedigaethau, y rhai yr oedd efe, yn erbyn pa un y cam dystiolaethodd, i'w dioddef.

Os gwneir llofruddiaeth yn un lle, ac ni wybyddir pwy a'i gwnaeth; ac na byddo amheuaeth am ryw un, megis pe buasai yn casâu y dyn, ac felly yn ei ladd ef; bydded ymofyniad i gael ei wneuthur yn fanwl am y drwg-weithredwr, a gwobr i gael ei gynnyg am ei ddatguddio ef. Ond os na cheir un hyspysrwydd am dano, bydded i swyddogion a henuriaid y dinasoedd hynny sy 'n gorwedd yn agos i'r lle ym mha un y gwnaed y llofruddiaeth, ymgynnull ynghyd, a mesur y pellder hyd at y lle y gorwedd y corph marw ynddo: yna bydded i swyddogion y ddinas nesaf bwrcasu anner, a'i dwyn gyd â hwynt i ddyffryn, i ran o hono na ddarfu ei aredig, ac na phlannwyd coed ynddo, a thorrer gewynnau yr anner: yna 'r offeiriaid a'r Lefiaid, a henuriaid y ddinas a gymmerant ddwfr, ac a olchant eu dwylaw uwch ben yr anner; a hwy a dystiant ar gyhoedd fod eu dwylaw yn lân oddiwrth y llofruddiaeth hynny; na wnaethant y weithred eu hunain, ac na fuant gynnorthwyol i'r sawl a'i gwnaeth.† Erfyniant hefyd ar Dduw i fod yn drugarog wrthynt, ac na byddo i'r fath weithred echrydus gael ei chyflawni mwyach yn y tir hwnnw.

Llywodraeth bendefigol, a'r iawn ffordd i fywiolaethu dani, yw 'r sefydliad goreu. Ac na fydded ynoch fyth chwennychiad am ffurf o lywodraeth arall: a bydded i chwi bob amser hoffi y ffurf hòno, a chymmeryd y cyfreithiau yn llywodraethwyr, a threfnu eich holl weithredoedd yn unol â hwynt. Canys nid yw raid i chwi wrth un goruchel lywodraethwr ond Duw. Ond os chwennychwch gael brenin, bydded un o'ch cenedl ‡ eich hun; a bydded yn ofalus bob amser am gyfiawnder, ac am rinweddau eraill yn wastadol. Bydded iddo ymostwng i'r cyfreithiau, a chyfrif gorchymmynion Duw ei ddoethineb pennaf. Ond na wnaed ddim heb ymgynghori â'r archoffeiriaid, ac â chydsyniad yr henuriaid. Na fydded iddo amldra o wragedd, na cheisio helaethrwydd o gyfoeth, na lliaws mawr o feirch, wrth yr hyn y dichon dyfu yn rhy falch i ymostwng i'r cyfreithiau. Ac os gogwydda at y cyfryw bethau, attalier ef; rhag ei fyned mor fawr ei rwysg, ag a fyddo yn anghyttunol a'ch llwyddiant chwi.

Na chyfrifer yn gyfreithlon symmud terfynau, yr eiddom ein hunain, na 'r rhai a fyddom mewn heddwch â hwynt. Gofalwch na newidioch y § ffiniau hyn, y rhai ydynt megis o ddwyfol osodiad; gan fod mynediad tu hwnt iddynt, ac ynnill tir oddi ar eraill, yn achos o ymrysoniadau a rhyfeloedd: gan nad yw y rhai a symmudant derfynau neppell oddi wrth ddadymchwelyd y cyfreithiau.

Yr hwn a osodo blanhigion mewn darn o dir, pa un y byddo i'w goed ddwyn ffrwyth cyn pen y pedair blynedd, na ddyger o honynt flaenffrwyth i Dduw, ac nid yw'r perchennog i wneuthur defnydd o'r ffrwyth ei hun, o herwydd ni addfedodd yn ei iawn bryd. Canys pan osoder trais ar naturiaeth i ffrwytho yn anamserol, nid

* Ni ddarfu im' sylwi yn un lle arall, nad oedd, dan y llywodraeth Iuddewig, wragedd yn cael eu cennadu i fod yn dystion cyfreithlon mewn llysoedd barn. Nid oes un o'n copiau o'r Pentateuch yn crybwyll gair am dano. Mae'n dra thebygol, pa fodd bynnag, mai dyma oedd esponiad yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, ac arferiad yr Iuddewon yn nyddiau Josephus.

† Deut. xxi. 1,—9. ‡ Deut. xvii. 15.
§ Deut. xix. 4.

yw'r ffrwyth gymmwys i Dduw, nac yn ddefnyddiol i'r perchennog; ond casgled y perchennog y cwbl oll o'i dyfiaint yn y bedwaredd flwyddyn, canys yna y bydd yn ei briodol dymmor. A bydded i'r hwn a'n casglodd eu dwyn i'r ddinas sanctaidd, a threulio hwnnw, ynghyd â degwm ei ffrwythau eraill mewn gwledda gyd â'i gyfeillion, yr ymddifaid, a'r gweddwon. Ond ar y bummed flwyddyn y ffrwyth a fydd eiddo ei hun, ac efe a all ei ddefnyddio yn y modd y gwelo yn oreu.*

Na hauwch ddarn o dir â hâd, yr hwn a blanwyd eisoes â gwinwydd, canys digon yw iddo roddi maeth i'r planhigyn hwnnw, ac na ddifroder y tir ag aredig hefyd. Trowch eich tiroedd ag ychen, ac na rodder creaduriaid eraill yn yr un wedd gyd â hwynt; ond i aredig eich tir â'r anifeiliaid hyn ag sydd o'r un rhywogaeth a'u gilydd. Yr bad sydd hefyd i fod yn bur, ac heb gymmysg, ac nid i'w gyfansoddi o ddau neu dri rhywogaeth; gan nad yw naturiaeth yn llonychu wrth uno pethau nad ydynt o gydrywiad; ac nid ydych i adael anifeiliaid o wahanol ryw i gydymgenhedlu.† Canys y mae rheswm i ofni rhag i'r camarfer annaturiol hwn ymestyn oddi wrth anifeiliaid at wahanol rywogaeth o ddynion; er cael ei ddechreuad oddi wrth arferiad drwg pethau o is gradd. Ac ni chaniatteir dim drwy arferiad o ba un yr ymlusga i mewn niweid i'r llywodraeth. Ac nid yw'r cyfreithiau yn esgusodi llai matterion; ond yn darparu fod i'r rhai hyn gael eu gwneuthur mewn modd difai.

Na fydded i'r sawl a fedant, neu a gasglant yr ŷd a fedwyd, gynnull y lloffion hefyd; ond gadawent yn hytrach ddyrneidiau o'u hol i'r sawl sydd mewn diffyg o angenrheidiau bywyd, fel y byddo yn gymmorth ac yn gynnaliaeth iddynt, mewn trefn i'w diwallu. Yn yr un modd pan gasglont eu grawnwin, gadawent rai sypiau o faintioli bychan i'r tlodion, ac elent dros rai o ffrwythau 'r olewydd,‡ pan gynnuller hwynt; gan eu gadael i gyfrannogi o honynt gan y rhai na feddant ddim eu hunain. Canys y fantais ag a dardda oddiwrth lwyr gynnulliad ni fydd gymmaint i'r perchennogion, ag a darddo wrth ddiolchgarwch y tlodion. A Duw a drefna fod i'r tir yn fwy ewyllysgar ddwyn yr hyn a fyddo er maeth i'w ffrwythau, os na ofelwch yn unig am eich mantais eich hunain, ond a fyddwch yn ystyried cynnaliaeth eraill hefyd. Ac na fydded i chwi gau safn yr ŷch sydd yn sathru y tywysennau ŷd yn y llawr-dyrnu:§ canys nid yw gyfiawn i attal ein cyd-lafurwyr anifeilaidd, a'r rhai a weithiant mewn trefn i ddefnyddioldeb, rhag cyfrannogi o ffrwyth eu llafur. A ni ddylech wahardd tramwywyr a êl heibio yn amser addfedrwydd eich ffrwythau rhag cyffwrdd a hwynt; ond i ganiattau iddynt ddigoni eu hunain a'r hyn sydd gennych; a hynny pa un bynnag a fyddont o'ch gwladwriaeth chwi, neu ynte ddieithriaid; megis ag yn dda gennych gael cyfleusdra i gyfrannu peth o'ch ffrwythau iddynt pan addfedont. Ond na chyfrifer yn gyfreithlon iddynt ddwyn dim gyd â hwynt ymaith.‖ Ac na fydded i gynnullwyr y grawnwin, wrth eu dwyn i'r gwin gafnau, rwystro y rhai a gyfarfyddont rhag bwytta o honynt. Canys mae 'n anghyfiawn, drwy genfigen, i luddias y rhai a fo 'n chwennych, i fwynhau o bethau da sy'n cael eu dwyn i fod yn ol ewyllys Duw; a hyn pa fo 'n tymmor ar ben, ac yn prysuro i fyned heibio fel y gwel Duw yn dda. Ië, os bydd rhai o wylder yn anewyllysgar i gyffwrdd â'r ffrwythau hyn, annoger hwynt i hynny, sef yr Israeliaid, megis pe byddent eu hunain berchennogion ac arglwyddi, o herwydd y berthynas sydd rhyngddynt. Ië, annogent ddynion a ddel o wledydd eraill i gyfrannogi o'r arwyddion hyn o gymmwynasgarwch, y rhai a drefnodd Duw yn eu tymmor. Canys ni chyfrifir hwnnw wedi ei dreulio yn ofer, y peth o garedigrwydd a gyfranna ryw un i arall. Yn gymmaint a bod Duw yn cyfrannu digonoldeb o bethau da i ddynion, nid i'r diben iddynt fedi yr holl fantais eu hunain, ond hefyd i gyfrannu i eraill mewn ffordd o haelioni; ac y mae efe yn ewyllysio drwy'r moddion hyn, i wneud eraill yn adnabyddus o'i ddaioni neillduol i bobl Israel, ac mor rhydd y mae'n gwneuthur lleshad

* Lef. xix. 25. † Lef. xix, 19. ‡ Deut. xxiv. 20. § Deut. xxv. 4. ‖ Deut. xxiii. 24.

iddynt, tra b'ont hwy o'u llawnder yn cyfrannu i eraill, ïe i ddieithriaid o wledydd pellennig. Ond am yr hwn na wna yn ol y gyfraith hon, curer ef â deugain * gwialennod ond un, gan y dihenyddwr cyffredin: bydded iddo fyned dan y gosp yma, ag sydd fwyaf gwaradwyddus i wr rhydd; a hyn o herwydd ei fod y fath gaethwas i elw, ac i osod anaf ar ei raddau ei hun. Canys mae 'n briodol i chwi y rhai a gawsoch brofiad o drallodion yr Aipht, ac o gyfyngderau yr anialwch, i wneuthur arlwyad i'r rhai a fo yn yr un amgylchiadau; a phan fyddoch yn awr yn mwynhau digonedd eich hunain, drwy drugaredd a rhagluniaeth Duw, i ddosparthu o'r unrhyw ddigonoldeb o bethau i'r cyfryw a fo yn sefyll mewn angen o honynt. Heblaw y ddau ryw ddegymmau, y rhai a grybwyllais yn barod, ag ydych i dalu bob blwyddyn; un i'r Lefiaid, a'r llall erbyn y gwyliau; yr ydych i ddwyn gyd â chwi bob tair blynedd † drydydd degwm, i'w ddosparthu i'r rhai a fo mewn eisiau; i wragedd hefyd a fo 'n weddwon, ac i blant a fyddo'n ymddifaid: ‡ ond ymherthynas i'r ffrwythau, dygent y rhai a fo addfed yn gyntaf oll i'r deml, ac wedi iddynt fendithio Duw am y tir a'u dygodd hwynt, a pha un a roddasai iddynt yn etifeddiaeth; pan ddarfyddo hefyd offrymmu yr aberthau a orchymmynodd y gyfraith eu dwyn gyd â hwynt, rhoddent eu blaen-ffrwyth i'r offeiriaid. Ond wedi i ryw un wneuthur hyn, a dwyn gyd ag ef ddegwm o'r hyn oll sydd ganddo, ynghyd a'r blaenffrwyth i'r Lefiaid, ac i'r gwyliau; a phan mae ar ddychwelyd adref, safed o flaen y tŷ sanctaidd a rhodded ddiolch i Dduw, am iddo ef eu gwaredu oddiwrth y driniaeth orthrymmus yn yr Aipht; a rhoddi iddynt wlad dda, a chaniattau iddynt fwynhau o'i ffrwythau; ac wedi iddo dystio yn gyhoeddus dalu o hono y degymmau yn gyflawn, a gofynion eraill cyfattebol i gyfreithiau Moses, erfynied ar Dduw fod o hono yn drugarog ac yn raslawn bob amser wrtho, a pharhau i fod felly tu ag at yr holl Hebreaid, drwy gynnal iddynt y pethau daionus eisoes a gawsent, a thrwy chwanegu yr hyn sydd yn ei allu rhagllaw eu cyfrannu.

Prioded yr Hebreaid mewn amser cyfaddas, forwynion rhyddion, ac o deulu da. A'r hwn na phriodo wyryf, na haloged wraig gwr arall a'i phriodi hi, gan ofidio ei gwr cyntaf. Ac na phrioded gwŷr rhyddion gaeth-forwynion, er i'w serchiadau ogwyddo yn drwm at wneuthur felly. Ac ymhellach, ni ddylai neb briodi puttain, offrymmau priodasol pa un ni dderbynia Duw, pan fo ei darddiad oddiwrth butteindra. Canys drwy y moddion hyn fe fydd tymmer y plant yn barchus ac yn rhinweddol; fy meddwl yw, pan na enid hwynt o rieni gwael, ac o ymgyssylltiad rhai â merched nad ydynt ryddion. Os dyweddiwyd rhyw un â merch megis gwyryf, ac na byddo yn ol ei ddisgwyliad yn ei chael felly, dyged ei dystiolaeth ym mlaen, a chyhudded hi, a dangosed arwyddion i brofi ei gyhuddiad o'r fath a fyddo ganddo. A bydded i dad neu frawd y forwynig, neu ryw un a fo nesaf o garennydd iddi, ei hymddiffyn. Ac os y forwyn a ynill ddedryd yn ei phlaid, na fuasai yn euog, caffed fyw gyd â'i gwr a'i cyhuddodd hi. Ac na fydded ganddo awdurdod ymhellach i'w bwrw ymaith, oddigerth iddi wneuthur rhyw achos mawr i hynny, a'r fath na ellir mewn un modd ei wrthwynebu. Ond am yr hwn a ddygo enllib a chyhuddiad yn erbyn ei wraig, mewn modd byrbwyll a digywilydd, bydded iddo gael ei gospi drwy dderbyn deugain gwialennod ond un, a thaled ddeg a deugain o siclau i'w thad hi; ond os y forwyn a gyhuddir ddarfod ei halogi hi, a'i bod yn un o'r bobl gyffredin, llabyddier hi, o herwydd na chadwodd ei diweirdeb nes ei phriodi yn gyfreithlon; ond os merch i offeiriad a fydd, llosger hi yn fyw. Os bydd gan un ddwy wraig, a'i fod yn parchu ac yn hoffi un yn fawr, un ai o serch tu ag atti

---

* Y gosp yma o ddeugain gwialennod ond un, a ddioddefwyd bum' waith gan St. Paul, o ddwylaw yr Iuddewon. 2 Cor. xi. 24.

† Y deongliad eglur a chywir hwn o gyfraith Moses, Dent. xiv. 28, 29. xxxi. 12, &c. gan Josephus, i fod yr Iuddewon yn rhwym bob tair blynedd i dalu tri math o ddegymmau; yr un hynny i'r Lefiaid; y llall erbyn yr aberthau yn Jerusalem; a hwn yma i'r anghenus, y weddw, a'r ymddifad, a gadarnheir yn gyflawn gan arferiad Tobit hynafol a da, ie pan ydoedd yn gaeth yn Assyria, yn wrthwyneb i dyb y Rabbiniaid: Tob. i. 6, 7, 8.

‡ Deut. xxiv. 12.

oblegid ei thegwch, neu am ryw reswm arall, tra mae y llall o lai gwerth yn ei olwg; ac os mab yr hon a hoffa efe a fydd yr ieuangaf o enedigaeth, yn hytrach na 'r un a enir o'r wraig arall, ac a fydd yn ymdrechu i feddiannu iawn cyntaf-anedigrwydd, drwy garedigrwydd ei dad tu ag at ei fam ef, ac a fynnai wrth hynny feddiannu rhan ddeublyg o eiddo ei dad; (canys y rhan ddwbl yma a bennodasid i'r cyntaf-anedig yn y gyfraith) na chaniattaer hyn iddo. Canys y mae 'n anghyfiawn fod i'r hwn sydd hynaf wrth enedigaeth gael ei ddifeddiannu o'r hyn sydd yn digwydd iddo, ar gyfrif tueddrwydd ei dad, ac oblegid nad oedd mor barchus o'i fam ef. Yr hwn a halogo forwyn oedd wedi ei dyweddio i wr arall, gyd â'i chydsyniad, rhodder ef a hithau i farwolaeth, canys y maent yn gyd-radd euog: y dyn o herwydd perswadio o hono y ddynes i ymostwng yn ewyllysgar i weithred dra aflan, ac i ddewis hynny o flaen priodasrwydd cyfreithlon; y ferch o herwydd cymmeryd o honi ei pherswadio i'w halogi, un ai er pleser neu elw. Pa fodd bynnag os cyfarfydd dyn â rhyw ddynes ar ei phen ei hun, a'i threisio hi, mewn lle na byddo neb yn bresennol i'w chynnorthwyo hi, doder ef yn unig i farwolaeth. Bydded i'r neb a halogo forwyn etto heb ei dyweddio, ei phriodi hi: ond os na fydd tad y forwyn yn foddlon i'w bod yn wraig iddo, taled y dyn ddeugain sicl, megis gwerth ei halogrwydd. Yr hwn a ddymuno ei ysgar oddiwrth ei wraig, am * unrhyw achos pa bynnag, a llawer o'r fath achosion a ddigwydd ym mhlith dynion, rhodded sicerwydd mewn ysgrifen na fydd iddo fyth ei harfer fel ei wraig mwyach; canys drwy 'r moddion yma hi a all fod yn rhydd i briodi gwr arall; er nad cyn i'r llythyr ysgar gael ei roddi, nid yw rydd i hynny. Ond os cam-ymddygodd efe hefyd tu ag atti, neu os, wedi iddo farw, y mynnai ei gwr cyntaf ei phriodi drachefn, ni bydd gyfreithlon iddi ddychwelyd atto ef.

Os gwr rhyw wraig a fydd farw, a'i gadael yn ddiblant, prioded ei frawd hi, a galwer enw y mab a aner iddo ar enw ei frawd, gan ei ddwyn i fynu fel etifedd o'i feddiannau, canys y drefn hon a fydd er budd i'r cyffredin; a thrwy hynny ni fetha teulnoedd, ond yr etifeddiaeth a bery ym mhlith eu carennydd; a hyn a fydd er cysur i wragedd dan eu cyfyngderau, eu bod i'w priodi â'r perthynas nesaf i'w gwr cyntaf. Ond os na fydd i'r brawd nesaf ei phriodi hi, deued y wraig o flaen yr henuriaid, a thystied ar gyhoedd na fyn y brawd hwn ei chymmeryd fel gwraig iddo, ond a niweidia goffadwriaeth ei frawd a fu farw, pan y mae hi yn ewyllysgar i aros yn y teulu, ac i ddwyn plant iddo. Ac wedi i'r henuriaid ymofyn ag ef, beth yw y rheswm am ba un y mae yn wrthwynebol i'r briodas hon, pa un a roddo ai rheswm da neu ddrwg, rhaid i'r matter ddyfod i'r penderfyniad yma; bod i'r wraig ddattod sandalau y brawd, a phoeri yn ei wyneb, a dywedyd, "Ei fod yn haeddu y driniaeth gywilyddus hon, megis un a wnaeth niweid i goffadwriaeth y marw." Ac yna eled efe ymaith oddi ger bron yr henuriaid, a dyged y gwaradwydd hwn arno dros ei holl fywyd; a phrioded hi â'r neb a ddewiso o'r rhai a ymofynnant am dani yn wraig briod. Ond os bydd i ryw un gymmeryd yn gaeth forwyn ieuangc, neu un a fu yn briod, † a chanddo ewyllys i'w phriodi hi, na chaniattaer iddo ei chymmeryd i'w wely, neu fyw gyd â hi fel ei wraig, nes iddi eillio ei phen, a dodi am dani ei galar-wisg, ac wylo dros ei pherthynasau a'i chyfeillion a laddwyd mewn rhyfel; fel drwy 'r moddion hyn y rhoddo le i'w galar am danynt, ac yn ol hynny gall roddi ei hun i wledda a phriodi: canys y mae 'n dda i'r hwn a gymmero wraig i'r diben i gael plant o honi, i gyduno â'i chwennychiad, ac nid yn unig dilyn ei dueddiadau a'i chwant ei hun, tra y mae yn ddiystyr o'r hyn sydd gyttunol â hi. Ond ar ben deng niwrnod ar hugain, fel dyddiau galar, (canys cynnifer sydd yn ddigon gan ddynion cymmedrol i wylo am eu perthynasau,) yna priodent, a mwynhaent

* Y geiriau hyn o eiddo Josephus ydynt dra thebyg i'r rhai hynny gan y Phariseaid wrth ein Iachawdwr, ar yr unig achos yma: Mat. xix. 3.—"A ydyw yn gyfreithlon i ddyn ddodi ymaith ei wraig ar bob achos?

† Yma y meddylir fod gwr y gaethferch hon, os ydoedd o'r blaen yn wraig briod, wedi marw, neu yn hytrach wedi ei ladd mewn brwydr; pe amgen fe fuasai yn odineb iddo ef ei phriodi.

gyfeillach eu gilydd. Ond os digwydd wedi iddo gael ei ddymuniad ei fod yn rhy falch i'w chadw yn wraig iddo, na fydded iddo awdurdod i'w gwneud yn gaethwraig, ond eled ymaith i'r man a ddewiso, â'r fraint o fod yn ferch rydd. *

Ymherthynas i ddynion ieuaingc a ddiystyrant eu rhieni, ac na roddant anrhydedd dyledus, ond a gynnygiant ammharch iddynt, un ai oblegid eu bod yn cywilyddio o'u herwydd, neu yn meddwl eu hunain yn ddoethach na hwynt. Yn y lle cyntaf cynghored eu rhieni hwynt drwy eiriau, (canys y maent hwy yn meddu awdurdod wrth natur i lywodraethu arnynt,) a dywedant wrthynt fel hyn: Ddarfod iddynt hwy gyd-ymgyssylltu â'u gilydd, nid o drachwant, ond er cynnydd eu heiddo, drwy uno eu cynnysgaeth ynghyd, a bod iddynt gael plant i ofalu drostynt yn eu hen ddyddiau, a chael drwyddynt hwy yr hyn a fo 'n eisiau arnynt:" dywedant ymhellach wrtho, "Pan aned di, nyni a'th gymmerasom i fynu yn llawen, ac a ddiolchasom i Dduw drosot ti; ac a'th ddygasom i fynu gyd â gofal mawr, heb arbed dim a fyddai 'n ddefnyddiol i'th gynnaliaeth, ac er dy hyfforddiant mewn pethau mwyaf rhagorol. Ac yn awr, gan ei fod yn rhesymmol i faddeu beiau rhai ieuaingc, bydded yn ddigon gennyt ddangos yr hyn a wnaethost o ddirmyg i ni; diwygia dy hun, ac ymddwyn yn ddoethach dros yr amser i ddyfod. Gan ystyried fod Duw yn cael ei ddigio gan y rhai sy 'n ymddwyn yn sarrug tu ag at eu rhieni; o herwydd ei fod ef ei hun yn dad holl ddynolryw; ac a ymddengys fel yn cael rhan o'r diaurhydedd hwnnw a syrth ar rai sy 'n dwyn yr un enw arnynt, pan nad ydynt yn cael y parch sydd ddyledus iddynt gan eu plant. Ac ar y cyfryw y mae 'r gyfraith yn gosod cospedigaeth anfaddeuol; o ba gospedigaeth na fydd i ti fyth fod yn brofiadol." Yn awr os bydd i wrthnysigrwydd dynion ieuaingc drwy hyn gael ei feddyginiaethu, ymdrechant i ddiangc rhag y gwaradwydd a haeddodd eu cyfeiliornadau blaenorol: canys drwy'r moddion hyn fe ymddengys y deddf-roddwr yn gyfiawn, a'r rhieni yn ddedwydd, tra byddont heb ganfod na mab na merch un amser yn cael eu dwyn dan gospedigaeth. Ond os digwydd y geiriau hyn, a'r hyfforddiadau a roddir drwyddynt, mewn trefn i argyhoeddi 'r dyn, fyned yn ddieffaith, yna bydd y troseddwr yn peri i'r gyfraith droi yn elyn anghymmodlon iddo, a'i anufudd-dod i'w rieni. Dyger ef o herwydd hynny† allan gan y rhieni hyn, a chymmerent ef o'r ddinas, gyd â lliaws yn ei ddilyn, a llabyddier ef; ‡ac wedi ei fod yno dros ddiwrnod cyfan, fel y gwelo yr holl bobl ef, cladder ef wedi hynny yn y nos. Ac fel hyn y mae i ni gladdu y rhai oll a fwrir i farw gan y gyfraith, ar ba gyfrif bynnag y byddo. Ein gelynion hefyd a gwympant mewn brwydr a gleddir; ac na oddefer i un corph marw aros ar wyneb y ddaear, neu ddioddef cospedigaeth uwchlaw y mae cyfiawnder yn ei ofyn.

Na fenthyccied neb i'r Hebreaid ar lôg, na llôg ar fwydydd, neu ddiodydd. § Canys nid cyfiawn i ti gymmeryd mantais ar wasgfeuon un o dy gydwladwyr; ond yn ol it' weini i'w angenrheidiau, cyfrif hynny i ti yn elw os ynnillaist ei ddiolchgarwch ef; ac heblaw hyn y wobr a ddaw i ti oddiwrth Dduw, am dy ddynoliaeth tu ag atto ef.

Y rhai a fenthyciasant arian, neu ryw fath o ffrwythau, pa un bynnag ai sych neu wlyb; (fy meddwl yw hyn, pan fyddo amgylchiad yr Iuddewon, drwy fendith Duw, yn ol eu dymuniad eu hunain;) bydded i'r benthycwyr eu dwyn yn ol drachefn, a'u dychwelyd yn llawen i'r rhai a'u benthyciodd; gan eu gosod i fynu megis yn eu trysorfa eu hun, gan ddisgwyl yn gyfiawn eu derbyn oddiyno, os bydd arnynt eu diffyg drachefn. Ond os byddant ddigywilydd, ac heb adferyd y benthyg, nag eled y benthycwr i dy y benthyciedig, ‖ a chymmeryd gwystl ei hun, cyn iddedryd gael ei rhoddi ymherthynas iddo: eithr gofynned ef wystl, a dyged y dyledwr ef o hono ei hun, heb y gwrthwynebiad lleiaf i'r hwn a ddel arno dan nawdd y gyfraith. Ac

* Deut. xxi. 14.

† Gwelwch Herod, y mwyaf, yn penderfynu gweled cyflawniad o'r gyfraith hon ymherthynas i ddau o'i feibion, ger bron y barnwyr yn Berytus. ‡ Deut. xxi. 21. § Deut. xxiii. 19 ‖ Deut. xxiv. 10.

os bydd yr hwn a rydd y gwystl yn gyfoethog, bydded i'r benthycwr ei gadw yn llaw, nes i'r hyn a fenthycodd i'r dyledwr gael ei dalu drachefn; ond os tlawd a fydd, boed i'r hwn a'i cymmerodd ei ddychwelyd drachefn cyn mynediad yr haul i lawr; yn enwedig os gwisg a fydd y gwystl, fel y byddo i'r dyledwr ei gael yn orchudd yn ei gwsg, gan fod Duw ei hun o naturiaeth yn dangos trugaredd i'r tlawd. Nid yw hefyd gyfreithlon cymmeryd maen melin, nac un offeryn perthynol iddo, yn wystl, fel na ymddifader dyledwyr o fodd i gael eu lluniaeth, a rhag eu dadwneud gan angen.

Bydded marwolaeth yn gosp i'r hwn a ladrattao ddyn; * ond yr hwn a ddarn-guddiodd aur neu arian, taled yr unrhyw yn ddeublyg. Os bydd i ryw un ladd dyn ar ei waith yn lladratta rhyw beth o'i dŷ, cyfrifer ef yn ddieuog; er pe na byddai i'r dyn ond yn unig torri i mewn drwy'r mur. Bydded i'r neb a ladrattao anifeiliaid dalu yn bedwar-plyg am yr hyn a gollwyd, oddieithr ymherthynas i ŷch; am yr hwn y tâl y lleidr y pum' cymmaint. Bydd i'r un sydd mor dlawd na allo dalu y ddirwy a osoder arno, fod yn wasanaethwr i'r neb yr ydoedd i dalu iddo.

Os gwerthwyd rhyw un i wr o'i gyd-genedl, gwasanaethed ef am chwe' blynedd; ac ar y seithfed gadawed ef i fyned yn rhydd. † Ond os bydd mab iddo o wasanaeth-ferch, yn ei dŷ pwrcasol; ac os ar gyfrif ei ewyllys da i'w feistr, a'i serch naturiol i'w wraig a'i blant, y myn fod yn wasanaethydd iddo rhagllaw, gollynger ef yn rhydd yn unig ar ddyfodiad blwyddyn y Jubilee, yr hon yw y ddegfed flwyddyn a deugain; ac yna cymmered ymaith gyd ag ef ei wraig a'i blant, a byddent hwy ryddion hefyd.

Os bydd i ryw un gael aur neu arian ar y ffordd, ymofynned am y sawl a'u collodd, a gwneled yn hyspys y fan y cafodd hwynt, ac yna eu hadferyd drachefn; gan ei ystyried yn ddideimladrwydd i fanteisio iddo ei hun drwy golled un arall. A'r un rheol sydd i'w hystyried mewn perthynas i anifeiliaid a elo ar grwydr i le anghyfannedd. ‡ Os na adnabyddir y perchennog yn ebrwydd, bydded i'r neb a'u cafodd eu cadw iddo ei hun, ac appelied at Dduw na ddarnguddiodd efe yr hyn sydd eiddo un arall.

Nid yw gyfreithlon myned heibio i anifail mewn cam-ystum, pan ar dymmestl y mae wedi syrthio i lawr yn y llaid, ond ymdrechu i'w gynnorthwyo, gan fod yn feddiannol o gydymdeimlad. §

Y mae hefyd yn ddyledswydd i ddangos ffyrdd i'r sawl a fo heb eu hadnabod; ac nid ei gyfrif yn achos o wawd pan roddom rwystr i eraill, drwy eu gosod ar gau ffordd.

Yn yr un modd na waradwydder neb o herwydd eu dallineb neu fudandod. ‖

Os dynion a ymdrechant â'u gilydd, ac na byddo yn eu hymmyl offeryn haiarn, bydded i'r neb a darawyd gael ei ddial yn ddioed, drwy osod yr un gospedigaeth ar yr hwn a'i tarawodd. Ond os wedi ei ddwyn ef adref y gorwedda dros amryw ddyddiau yn glaf, ac yna marw o hono, dianged yr hwn a'i tarawodd rhag cospedigaeth; ond os bydd i'r un a darawyd ddiangc rhag marw, ac etto fyned o hono dan gostau mawr wrth ei wella, ei darawydd a gaiff dalu yr holl draul a aeth arno yn oed amser ei afiechyd, a chymmaint ag a dalodd i'r physygwr. ¶ Yr hwn a rydd ergyd â'i droed i wraig feichiog, fel y lladder ** ei phlentyn, taled y fath ddirwy yn arian ag a osoder gan y barnwyr, megis un a gwttogodd ar nifer y lliaws, drwy ddifetha ffrwyth ei bru; a rhodder arian hefyd i wr y wraig gan yr hwn a'i niweidiodd hi: ond os bydd hi farw o'r ergyd, rhodder ef hefyd i farwolaeth: gan fod y gyfraith yn ei gyfrif yn gyfiawn i ddodi bywyd am fywyd.

Na chadwed neb o'r Israeliaid wenwyn yn

---

* Exod. xxi. 16. † Deut. xv. 12. ‡ Exod. xxiii. 4. § Exod. xxiii. 5. ‖ Lef. xix. 14. Deut. xxvii. 18. ¶ Exod. xxi. 19.

** Philo ac eraill a ymddangosasant eu bod yn deall y gyfraith hon, Exod. xxi. 22, 23. yn well na Josephus; yr hwn a ymddengys fel yn caniattau, mai er i'r plentyn yng nghroth ei fam, ac felly fod gan y plentyn enaid rhesymmol, aç efe yn fyw, gael ei ladd â'r ergyd a gafodd ei fam; etto os diangai y fam, dirwyid y troseddwr yn unig, ac ni roddid ef i farwolaeth. Pan ddengys y gyfraith ei bod yn hytrach yn meddwl, os byddai 'r plentyn ar yr achos hwnnw wedi ei ladd, er i'r fam ddiangc, fod yn rhaid rhoddi 'r troseddwr i farwolaeth: ac nid pan ladder y wraig yn unig, fel y dealid gan Josephus. Fe ymddengys mai dyma oedd esponiad y Phariseaid yn nyddiau Josephus.

eu tai,* yr hwn a ddichon fod yn achos o farwolaeth; neu un peth niweidiol arall; ac os ceir y fath beth gyd ag ef, rhodder ef i farwolaeth, a dioddefed yr un niweid ag a fynnai ddwyn ar eraill, i ba rai y bwriadasai y gwenwyn.

Yr hwn a ddodo anaf ar ryw un, eled dan yr unrhyw niweid ei hun; gan ei golledu o'r un aelod ag a barodd efe i arall golli,† oddieithr i'r hwn a glwyfwyd gymmeryd arian yn lle hynny. Canys y ddeddf a bâri'r dioddefwr farnu gwerth yr hyn a ddioddefodd, a chaniattau iddo wneuthur cyfrifiad o hono os na fydd yn rhy lymdost.

Bydded i berchennog ŷch neu eidion a fo'n cornio, ei ladd ef; ond os cornia ddyn a'i waedu mewn llawr-dyrnu, rhodder ef i farwolaeth drwy labyddiad, ac na farner yn gymmwys i'w fwytta. Ond os ei berchennog a argyhoeddir megis ag yn gwybod ei naturiaeth ef, ac ni chauodd i fynu arno, rhodder ef hefyd i farwolaeth, megis ei fod yn achos o ddarfod i'r ŷch ladd dyn. ‡ Ond os lladdodd yr ŷch wasanaeth-ddyn, neu wasanaeth-ferch, llabyddier ef, a thaled perchennog yr ŷch ddeg sicl ar hugain § i feistr yr hwn a laddwyd: ond os bustach a fydd fel hyn wedi ei ladd, bydded i'r ŷch a laddodd y llall, a'r un lladdedig hefyd gael eu gwerthu, a rhanned y perchennogion y pris rhyngddynt.

Bydded i'r rhai a gloddiant ffynnon neu bydew ofalu am osod byrddau arno, ac felly eu cauad i fynu; nid mewn trefn i rwystro rhyw un rhag tynnu dwfr, ond fel na byddo enbydrwydd i neb syrthio iddo. Ond os collir anifail rhyw un drwy syrthio iddo, oblegid na chauwyd ar y pydew y modd hwn, taled perchennog y pydew ei werth i berchen yr anifail. ‖ Gosoder canllawiau o amgylch ar bennau eich tai, yn lle mur, i rwystro i ryw un dreiglo i lawr a'i ddifetha ef.

Boed i'r sawl a gafodd ryw beth mewn ymddiried dros arall, ofalu am ei gadw yn ddirgelaidd; ac na fydded i neb ddyfeisio ffordd i ddifuddio yr hwn a'i hymddiriedodd iddo, o'r unrhyw; a hyn pa un bynnag a fyddo ai dyn neu ddynes: ïe pe byddai iddo ef neu hithau ynnill swm helaeth o aur wrth hynny, a phan na ellir ei gyhuddo gan neb o'r weithred: canys mae'n weddus fod i gydwybod dyn ei hunan, yr hon a ŵyr beth sydd ganddo, i fod ym mhob achosion yn ei rwymo i wneuthur yn dda. Bydded ei gydwybod yn dyst iddo, ac yn peri iddo weithredu felly bob amser, fel ag y paro iddo ganmoliaeth gan eraill: a bydded iddo yn bennaf barchu Duw, oddiwrth yr hwn ni all y dyn mwyaf drygionus ymguddio. Ond os bydd i'r un y gosodwyd yr ymddiried ynddo, heb ddim twyll o'r eiddo ei hun, golli y peth a ymddiriedwyd iddo am dano, deued o flaen y saith barnwyr, a thynged i Dduw na chollasai ddim yn wirfoddol, neu gyd â drwg fwriad, ac na wnaeth ddefnydd o un rhan o'r peth. Ac felly ymadawed yn ddifai. ¶ Ond os gwnaeth ddefnydd o'r rhan leiaf o'r peth a ymddiriedwyd iddo am dano, a cholli o hono ef, barner ef i dalu yn ol werth yr hyn oll a dderbyniodd, yn yr un wedd ag yn yr ymddiriedau hyn; bydded ei fod, os bydd i neb wneuthur twyll, i'r rhai a ant dan y fath lafur corphorol drosto. A chofier bob amser nad ydym i dwyllo dyn tlawd am ei gyflog; megis yn ystyried fod Duw yn trefnu y cyflog hwnnw iddo yn lle tiroedd a meddiannau eraill. Ië, nid yw'r taliad yma dros ddim amser i gael ei oedi, ond i'w wneuthur o fewn corph y dydd hwnnw;** gan nad yw Duw yn ewyllysio ymddifadu 'r llafurwr o feddiant uniongyrch o'r hyn a lafuriodd am dano.

Nid ydych i gospi plant am feiau eu rhieni;†† ond ar gyfrif eu rhinweddau eu hunain yr ydych yn hytrach i dosturio wrthynt, oblegid eu geni o rieni annuwiol; na 'u casâu, o her-

* Yr hyn ydym ni yn ei alw dewines, yn ol ein dychymmyg presennol am ddewiniaeth, Exod. xxii. 18. Philo a Josephus a'i deallasant am un yn gwenwyno; neu un a gynnygiai â chyffuriau dirgel ac anghyfreithlon gymmeryd ymaith synhwyrau neu fywydau dynion.

† Y caniattâd yma o bwrcasu y gospedigaeth uchod ag arian, ni chrybwyllir yn un o'n copiau eraill. Exod. xxi. 24, 25. Lef. xxiv. 20. Deut. xix. 21.

‡ Exod. xxi. 28, 29.

§ Gallwn yma sylwi, fod y deg ar hugain sicl, y pris am ba un y gwerthwyd ein Iachawdwr i'r Iuddewon gan Judas, Matth. xxiv. 15. xxvii. 3. yn werth gwasanaeth-ddyn prynedig, neu gaethwas ym mhlith y bobl yn yr hen amseroedd.

‖ Exod. xxi. 33, 34.

¶ Exod. xxii. 7,--11.

** Lef. xix. 13. Deut. xxiv. 14, 15.

†† Deut. xxiv. 16.

wydd eu perthynas â rhai mor ddrwg. Ac yn wir ni ddylem wneuthur cyfrifiad o bechod plant i'w tadau, tra mae dynion ieuaingc yn arfer eu hunain i lawer o ymarferiadau gwahanol i'r hyn y cawsent eu hyfforddi ynddynt, a hynny o herwydd eu gwrthodiad o'r fath hyfforddiadau.

Bydded i'r rhai a wnaethant eu hunain yn efnuchiaid * gael eu cyfrif yn ffiaidd, ac ymogelwch rhag gwneuthur cyfrinach â hwynt, y rhai a ymddifadasant eu hunain o wrolrwydd, ac o'r hyn a roddes Duw i ddynion er lliosogiad dynolryw. Danfoner y cyfryw ymaith megis pe buasent wedi lladd eu plant, gan iddynt hwy yn wirfoddol ym mlaenllaw ymwrthod â'r moddion o'u cenhedliad hwynt. Canys mae'n amlwg wedi i'w heneidiau ddyfod yn fasweddol, iddynt gyfrannu y masweidd-dra hwnnw i'w cyrph hefyd. Yn yr un dull ymddygwch tu ag at y rhai oll sydd o natur anghenfilaidd, wedi cymmeryd sulw o honynt. Nid yw gyfreithlon dispaddu dynion, neu ryw greaduriaid byw eraill. †

Bydded hyn yn sefydliad eich cyfreithiau gwladol yn amser heddwch; a bydd Duw mor drugarog ag i ymddiffyn y gosodiadau rhagorol hyn yn rhydd oddiwrth derfysgoedd. Ac na fydded i'r amser hwnnw fyth ddyfod pan wrthwyneber un peth, a'i newid i'r gwrthwyneb: ond gan ei fod yn anocheladwy i ddigwydd blinderau a pheryglon ym mysg dynolryw, yn fwriadol neu anfwriadol, bydded i ni osod ychydig o reolau ymherthynas iddynt; fel drwy wybod ym mlaenllaw y modd y dylent wneuthur, i fod gennych gynghorion iachusol wrth law pan fyddo eu heisiau hwynt; ac na byddo achos ymofyn pa fodd i ymddwyn, ac felly yn ddiddarbod i syrthio mewn amgylchiadau peryglus. Bydded eich bod chwi yn bobl lafurus, ac ymarfer eich hunain i weithredoedd rhinweddol; ac wrth hynny etifeddu y tir yn ddi-ryfel; pan na byddo dim dieithriaid yn ymosod arnoch, a thrwy hynny yn eich trallodi; nac ymrysonau tu-fewnol yn ei orddiwes, drwy 'r hyn y gwneloch bethau gwrthwyneb i'ch tadau, ac felly i'r cyfreithiau a osodasid yn eich mysg fyned ar goll. A bydded i chwi barhau i wneuthur sulw o'r cyfreithiau hyn a gymmeradwywyd gan Dduw, ac a'u traddododd i chwi. Bydded i bob math o ymarferion rhyfelgar, pa un bynnag a wnelont ai digwydd yn awr, yn eich amser eich hunain, neu yn ol hyn yn amserau eich hiliogaeth, gael ei wneuthur allan o'ch terfynau; ond pan fyddoch ynghylch myned i ryfel, danfonwch genhadau a chyhoeddwyr at y rhai a fyddo elynion gwirfoddol i chwi; canys mae yn iawn gwneuthur ymarferiad o eiriau wrthynt, cyn gafaelu yn eich arfau rhyfel; a sicrhau iddynt drwy hynny, fod gennych fyddin liosog, a meirch, ac arfau; ac uwchlaw y rhai hyn, fod Duw trugarog gyd â chwi, ac yn barod i'ch cynnorthwyo: ond eich bod, pa fodd bynnag, yn ewyllysio iddynt beidio a gosod angenrheidrwydd arnoch i ymladd i'w herbyn, a chymmeryd oddiarnynt yr hyn y maent yn ei etifeddu; yr hyn yn wir a all fod yn elw i ni, ond yr hyn ni fydd ganddynt hwy ddim rheswm i ddymuno i ni ei gymmeryd i'n meddiant ein hunain. Ac os gwrandawant hwy arnoch, bydd yn gymmwys i chwi ymgadw mewn heddwch â hwynt: ond os ymddiriedant i'w gwroldeb eu hunain, megis yn rhagori ar yr eiddo chwi, ac ni wnant gyfiawnder; dygwch allan eich byddin, ac arweiniwch hwy i'w herbyn, gan olygu Duw fel eich pen-llywodraethwr, a chymmerwch un megis yn rhaglaw dano, i'ch trefnu a'ch cyfarwyddo chwi; un ag a fyddai o gefnogrwydd mwyaf yn eich mysg. Canys y gwahanol flaenoriaid hyn, heblaw eu bod yn rhwystr i ymladdfeydd a wneir yn ddisymmwth, ydynt, wrth ddigalonni, yn anfantais i'r rhai a fo yn ymladd danynt. Cesglwch fyddin o wŷr ffyddlon a dewisol, o rymmusdra corph rhagorol, ac o feddwl cadarn: ond danfonwch ymaith y rhan ofnog a brawychus, rhag encilio o honynt yn amser brwydr, ac felly rhoddi mantais i'ch gelynion. Rhoddwch gennad hefyd i'r rhai a adeiladasant dai yn ddiweddar, ac ni thrigasant

* Deut. xxiii. 1.

† Gallwn oddiyma ddal sulw, nad oedd bustych i'w meddiannu gan yr Iuddewon, ond buwchod a theirw a gedwid yn Judea.

etto ynddynt flwyddyn; ac i'r sawl a blannasant winllanoedd, ac na fuont etto yn gyfrannogion o'u ffrwythau, i barhau i aros yn eu gwlad; yn gystal hefyd y rhai a ddyweddiasant ac a briodasant wragedd yn ddiweddar; rhag drwy fod ganddynt y fath serchiadau i'r pethau hyn, y byddont rŷ gynnil o'u bywydau; a thrwy gadw eu hunain i'r fath fwyniant y cynnyddont yn annewraidd. *

Pan sefydloch eich gwersylloedd, cymmerwch ofal rhag gwneuthur dim o greulondeb: a phan fyddoch wedi ymrwymo mewn cynllwyn, ac mewn diffyg o goed i wneuthur offerynnau rhyfel, na ddynoethwch y tir drwy dorri i lawr goed a fo'n dwyn ffrwythau; ond arbedwch hwynt, gan ystyried eu gwneuthur er budd i ddynion; a phe medrent lefaru, byddai ganddynt ddadl gyfiawn yn eich erbyn; oblegid er nad ydynt achos o ryfel, maent yn cael triniaeth anghyfiawn ac yn dioddef ynddo; ac a wnaent, pe gallant symmud eu hunain i dir arall o'i ffordd. Pan orchfygoch eich gelynion mewn rhyfel, lleddwch y rhai a ymladdant â chwi, ond cedwch eraill yn fyw, fel y talont deyrnged i chwi; oddigerth cenedl y Canaaneaid, canys ymherthynas i'r genedl honno rhaid i chwi eu difetha oll.

Cymmerwch ofal, yn enwedig mewn brwydrau, na fyddo un ferch yno wedi ymwisgo â dillad mab; neu ynte fab â dillad merch am dano.†

Dyma ffurf y llywodraeth wladwriaethol, yr hon a adawyd i ni gan Moses. Ymhellach, yr oedd efe ‡ eisoes wedi traddodi cyfreithiau yn ysgrifenedig i ni, yn y ddeugeinfed flwyddyn ar ol eu dyfodiad allan o'r Aipht, ymherthynas i ba rai ni a draethwn mewn llyfr arall. Ond yn awr ar y dyddiau canlynol, (canys yr oedd yn eu galw i ymgynnull yn barhaus;) efe a gyhoeddodd fendithion iddynt, a melldithion ar y rhai ni fyddent fyw yn ol y cyfreithiau a draddodasai; ond a droseddent y deddfau a fwriadwyd i fyw wrthynt. Yn ol hyn, efe a ddarllennodd gân brydyddol, yr hon a gyfansoddasid o bennillion chwech-odl, yr hon a adawodd iddynt i'w hysgrifennu yn y llyfr sanctaidd: yr ydoedd yn gynnwysedig o ragfynegiad o'r pethau a ddeuent yn ol hynny; yn gyttunol â pha un y digwyddodd y cwbl a ddaeth i'n cenedl ni, ag sydd etto yn digwydd, yn yr hyn ni ymadawodd ddim oddiwrth y gwirionedd. Yn ganlynol efe a roddodd y llyfrau hyn i'r § offeiriaid, ynghyd â'r arch; yn mha un hefyd efe a osododd y deg gorchymmyn, wedi eu hysgrifennu ar ddwy lech. Efe hefyd a orchymmynodd y tabernacl i'w gofal hwynt, ac a gynghorodd y bobl, pan ennillent wlad Canaan, ac y sefydlent ynddi, na anghofient y niweid a wnaethai'r Amaleciaid iddynt; ‖ ond gwneuthur rhyfel i'w herbyn, a'u cospi hwynt, am y drwg a wnaethent iddynt hwy ar eu taith yn yr anialwch: a phan feddiannent dir y Canaaneaid, a difetha'r holl liaws o'i thrigolion, megis ag y dylent; fod iddynt adeiladu allor a wynebai at godiad haul, heb fod neppell oddiwrth ddinas Sechem, rhwng dau fynydd, sef Gerizim, yr hwn sydd a'i sefyllfa ar y llaw ddehau; a'r un hynny a elwir Ebal, ar yr aswy: ¶ ac yna i'r fyddin gael ei rhannu; a bod i chwe' llwyth sefyll ar bob un o'r ddau fynydd, a chyd â hwynt y Lefiaid a'r offeiriaid. A bod yn gyntaf i'r rhai ar fynydd Gerizim weddio am y goreu o fendithion ar y rhai a fyddent ddiwyd ynghylch addoliad Duw, ac yn sylwi ar ei gyfreithiau; a'r rhai na wrthodent wrando yr hyn a lefarodd Moses wrthynt, tra'r oedd eraill hefyd yn ewyllysio iddynt bob math o ddedwyddwch. Ac wedi i'r rhai diweddaf hyn osod i fynu y cyffelyb erfyniau, y rhai cyntaf a'u canmolent. Ar ol hyn, melldithion a gyhoeddid ar y rhai a droseddent yn erbyn y cyfreithiau hynny, a hwy yn atteb bob yn ail a'u gilydd, mewn ffordd o gadarnhad o'r hyn a ddywedid. Moses hefyd a ysgrifennodd i lawr eu bendithion a'u melldithion; fel y byddent mor hyddysg ganddynt na ollyngent hwynt byth yn anghof drwy un meithder o amser. A phan ydoedd barod i farw efe a ysgrifennodd y bendithion a'r melldithion hyn ar yr allor, sef un ar bob tu

* Deut. xx. 7. † Deut. xxii. 5. ‡ Y cyfreithiau hyn a ymddengys eu bod yr un a'r rhai a grybwyllir eisoes yn y bennod hon.

§ Pa ryw gyfreithiau a draddododd yma i'r offeiriaid, gwel nod ar III. 8.
‖ Deut. xxv. 17. ¶ Deut. xxvii. 12.

iddi, a'r mannau hefyd yr oedd y bobl yn sefyll i'w cyhoeddi; ac yna yn aberthu poeth-offrymmau, er na ddarfu iddynt wedi y dydd hwnnw fyth offrymmu arno aberth arall, canys nid oedd gyfreithlon gwneuthur hynny. Dyma osodedigaethau Moses, a'r genedl Hebreaidd ydynt etto i fyw wrthynt.

Ar y dydd nesaf Moses a alwodd y bobl yngnghyd, gyd â'r gwragedd a'r plant, yn gynnulleidfa, fel ag yr oedd hyd yn oed y rhai caethion yn bresennol hefyd, fel yr ymrwyment hwy eu hunain i wneud sulw o'r cyfreithiau hyn drwy lw; a thrwy fanwl ystyried meddwl Duw ynddynt, na fyddai iddynt o herwydd ffafr eu perthynasau, neu ofn unrhyw ddyn, nac yn wir i un diben, pa bynnag, farnu un peth yn deilwng o'u dewisiad o flaen y deddfau hyn, a thrwy hynny droseddu i'w herbyn: fel ag os digwydd rhyw un o'u gwaedoliaeth, neu ryw ddinas gynnyg terfysgu neu ddiddymmu eu gosodiadau a'u llywodraeth, y byddai iddynt ddial arnynt, sef pawb yn gyffredinol, a phob un yn neillduol; ac wedi eu gorchfygu hwynt fod iddynt ddadymchwelyd eu dinasoedd hyd eu sylfaeni, ac, o bydd bossibl, na adawont ar ol yr arwydd leiaf o'r fath wallgofrwydd: ond os na allant wneud y fath ddial arnynt, bod iddynt ddatgan yr hyn a wnaethant yn wrthwyneb i'w hewyllys hwynt. Felly y dyrfa a ymrwymasant drwy lw i wneuthur yn ol hyn.

Moses a ddangosodd iddynt drwy ba foddion y byddai eu haberthau fwyaf cymmeradwy gan Dduw; ac ym mha ddull yr elent allan i ryfel, gan wneuthur defnydd o'r * meini gosodedig yn nwyfronneg yr offeiriaid er eu cyfarwyddyd, fel yr arwyddais o'r blaen. Joshua hefyd a brophwydodd † tra yr oedd Moses yn bresennol. Ac wedi i Moses ad-goffa pa beth bynnag a wnaethai er achubiaeth y bobl, yn gystal yn eu rhyfeloedd ag yn amser eu heddwch; a'r modd y cyfansoddodd iddynt gorph o gyfreithiau, a darlunio iddynt ffurf ragorol o lywodraeth, efe a ragddywedodd, fel y mynegasai Duw iddo, os troseddent yn erbyn y drefn honno o addoliad Duw, y profent o'r cystuddiau canlynol:—y llenwid eu tir o arfau rhyfel gan eu gelynion—y dadymchwelid eu dinasoedd, ac y llosgid eu teml—y gwerthid hwynt yn gaethion i'r fath ddynion a'r na chymmerant dosturi arnynt yn eu trallodion; ac yr edifarhaent pan na fyddai yr edifeirwch hwnnw o ddim gwerth iddynt yn eu dioddefiadau. "Etto," eb efe, "fe fydd i'r Duw hwnnw a sylfaenodd eich cenedl, adferyd eu dinasoedd i'r dinasyddion, gyd â'u teml hefyd; a chwi a ymddifadir o'r manteision hynny nid unwaith yn unig, ond amrywiol o weithiau."

Yn awr, wedi i Moses roddi annogaeth i Joshua, i dywys y fyddin ym mlaen yn erbyn y Canaaneaid, drwy fynegi iddo y byddai i Dduw ei gynnorthwyo yn ei holl anturiaethau; ac wedi iddo fendithio 'r dyrfa, efe a ddywedodd; "Gan fy mod i yn myned at fy nhadau, a Duw wedi penderfynu i hwn fod yn ddydd fy ymadawiad attynt hwy, yr wyf yn dychwelyd iddo ddiolch tra 'r ydwyf etto yn fyw ac yn bresennol gyd â chwi, am ei ragluniaethol ofal a arferodd efe drosoch; drwy yr hyn nid yn unig ein gwaredwyd o'r trueni yr oeddym ynddo, ond a drefnodd lwyddiant yn ein mysg; megis ag y cynnorthwyodd fi hefyd yn y llafur a gymmerais, ac yn yr holl amcanion oedd gennyf yn fy ngofal drosoch, mewn trefn i wella eich amgylchiad; ac a ddarfu iddo ar bob achosion ddangos ei hun yn ffafriol i ni. Neu yn hytrach efe oedd yr un a flaenorodd yn nhrefniad ein hachosion, ac a'u dug i ddiben daionus, drwy wneud defnydd o honof fi megis rhaglaw dano, ac fel gweinidog yn y matterion hynny drwy y rhai yr ewyllysiodd wneuthur i chwi ddaioni. Ar ba gyfrifon yr wyf yn ei weled yn angenrhaid i fendithio y dwyfol allu hwnnw, a ddichon ofalu am danoch dros yr amser i ddyfod; a hyn mewn trefn i dalu yn ol yr hyn sydd ddyledus arnaf iddo; ac i adael o'm hol goffadwriaeth fod i ni ymrwymo i'w addoli a'i anrhydeddu ef, a chadw

* Dr. Bernard sydd yn sylwi yn dda yma, pa mor anhappus ydoedd esgeuluso ymgynghori â'r Urim i Joshua ei hun, ymherthynas i'r Gibeoniaid; y rhai a osodasant dwyll arno, ac a'i maglasant, ynghyd â'r rhan arall o'r llywodraethwyr Iuddewaidd, drwy wneuthur llw difrifol i'w harbed hwynt, yn wrthwyneb i'r gorchymmyn a gawsai i lwyr ddifetha y Canaaneaid: yr hwn lw etto ni ddarfu iddo ef na 'r llywodraethwyr gynnyg ei dorri mwy. A hwy a ddygwyd i'r fagl yma o herwydd nad ymgynghorasant â genau 'r Arglwydd. Jos ix. 14.

† Deut. xxxiv. 9.

y deddfau hynny y rhai ydynt y rhagoraf o'r rhoddion a gyfrannodd efe i ni; neu y rhai os pery yn ffafriol i ni, a gyfranna arnom rhagllaw. Yn sicr y mae deddfwr dynol yn elyn ofnadwy pan drosedder ei gyfreithiau, ac wrth hynny cynnyg eu diddymmu hwynt. Ac na fydded i chwi fyth brofi yr anfoddlonrwydd hwnnw oddi wrth Dduw, yr hyn a fydd canlyniad yr esgeulusdra o'r cyfreithiau hyn, y rhai a roddes efe, yr hwn yw eich Creawdwr i chwi."

Wedi i Moses draethu fel hyn, yn niwedd ei fywyd, a rhagfynegi yr hyn a ddigwyddai i bob * un o'u llwythau mewn amser i ddyfod, gyd â'r chwanegiad o'u bendithio hwynt, y lliaws a syrthiasant mewn dagrau; yn gymmaint a bod hyd yn oed y gwragedd, gan guro eu dwyfronnau, yn arwyddo y dygn dristwch oedd yn eu meddiannu pan oedd efe ynghylch marw. Y plant hefyd oeddynt yn wylo drachefn, heb allu attal eu gofidiau; a thrwy hynny a ddangosasant eu bod yn deimladwy, yn eu hoed hwy, o'i rinweddau a'i fawr ddoethineb: ac yn sicr yr oeddynt i'w gweled megis pe buasai ymryson rhwng yr ieuaingc a'r hen pwy a alarai fwyaf. Y rhai oedrannus a ofidiasant o herwydd y gwyddent pa fath amddiffynwr gofalus oeddynt i golli, ac felly yn galaru oblegid eu cyflwr yn yr amser a ddeuai: ond yr ieuengctid a alarent nid yn unig oblegid hynny, ond hefyd o herwydd digwydd y peth felly fel ag yr oeddynt hwy i'w gadael ganddo, cyn iddynt yn iawn adnabod ei rinwedd. Yn awr, gall un ffurfio rhyw ddychymmyg am ormodedd y galar hwn o eiddo'r lliaws, oddiwrth yr hyn a ddigwyddodd i'r deddfwr ei hun. Canys er iddo bob amser gael ei berswadio na ddylai efe ymollwng i lwfrdra wrth agoshâd angau, gan ei fod yn unol ag ewyllys Duw, ac yn ol cyfraith natur; etto wrth weled y bobl wedi cyffroi gymmaint, efe a wylodd ei hunan. Yn awr, fel yr oedd yn myned ymaith tu a'r lle ym mha un yr ydoedd i ddiflannu o'u golwg, hwy oll a'u canlynasant ef dan alaru. Ond Moses a amneidiodd â'i law ar y rhai oedd mewn pellder oddiwrtho, ac a barodd iddynt aros ar ol yn llonydd, tra 'r oedd yn cynghori y rhai agos atto na wnaent ei ymadawiad mor wylofus. Ar hyn meddyliasant mai eu dyledswydd ydoedd ymddwyn fel y dymunasai ar ei ymadawiad: felly hwy a ymattaliasant, er wylo y naill yn wyneb y llall mewn graddau yn ol hynny. Y rhai a gydymdeithiasant ag ef ydoedd yr henuriaid, Eleazar yr arch-offeiriad, a Joshua eu llywydd. Yn awr, mor gynted ag y daethant i fynydd a elwid Abarim, yr hwn sydd fynydd tra uchel ar gyfer Jericho, ac un sy'n cyfrannu i'r sawl a fyddant arno olwg ar y rhan fwyaf odiaethol o wlad Canaan. Yna efe a anfonodd yr henuriaid ymaith: ac, fel yr oedd yn myned i gofleidio Eleazar a Joshua, ac efe etto yn ymddiddan â hwynt, daeth cwmmwl yn ddisymmwth ac a'i cysgododd ef, ac a ddiflannodd o'r golwg mewn dyffryn gerllaw yno, † er ysgrifennu o hono yn y llyfrau sanctaidd ei farw ef; yr hyn a wnaethpwyd o ofn, rhag dywedyd o rai, iddo ar gyfrif ei rinweddau rhagorol, fyned at Dduw.

Yn awr, Moses a fuasai fyw i gyd ugain mlynedd a chant, ‡ y drydedd ran o ba amser, oddigerth un mis, y bu yn llywydd ar y bobl. Ac efe a fu farw y mis olaf o'r flwyddyn, yr hwn a elwir gan y Macedoniaid Dystrus; ond gennym ni Adar, ar y dydd cyntaf o hono. Yr ydoedd Moses yn un ag oedd yn rhagori ar bawb mewn dealltwriaeth, ac a ddefnyddiodd y ffordd oreu oedd y deall hwnnw yn ei addysgu i'w wneuthur. Yr oedd ganddo ffordd dra dymunol o lefaru ac ymddiddan â'r dyrfa: ac ymherthynas i'w gymmwysderau eraill, yr oedd ganddo y fath gyflawn awdurdod ar ei dymmerau, megis pe buasai agos heb y cyfryw yn ei enaid, ac na wyddai am danynt ond wrth enwau; gan eu hadnabod yn eraill, yn hytrach nag ynddo ef ei hun. Yr ydoedd efe hefyd yn fath flaenor byddin ag na welir ond yn anaml ei gyffelyb; yn gystal a phrophwyd o'r cyfryw gynneddfau na chlybuwyd am ei ail, § a hyn i'r

* Gan i Josephus ein sierhau yma, ac fel y mae yn naturiol i feddwl, megis y mae'r Septuagint yn dodi 'r testun, Deut. xxxiii. 6. ddarfod i Moses fendithio pob un o lwythau Israel; mae 'n amlwg na adawyd Simeon yn ol yn ei gopi ef, megis yn annedwydd y mae yn awr yn eisiau yn ein copiau Hebreaidd a Samaritanaidd ni.

† Deut. xxxiv. 6. ‡ Deut. xxxiv. 7. § Deut. xxxiv. 10.

fath raddau, fel yr oedd yr hyn oll a draethai efe yn peri i un feddwl ei fod yn clywed llais Duw ei hun. Felly y bobl a alarasant am dano ddeng niwrnod ar hugain. Ac ni feddiannwyd yr Hebreaid fyth â'r fath alar a hwn ar gyfrif marwolaeth Moses. Ac nid yn unig y rhai a brofasai o ddaioni ei fuchedd ef a hiraethent o'i herwydd; ond hwynt-hwy hefyd a ddarllenent y cyfreithiau a adawodd o'i ol, oeddynt yn ei barchu ef yn fawr: a thrwyddynt hwy a feddiannwyd â'r fath rinwedd rhagorol ag oedd efe yn ei berchennogi. A hyn a gaiff wasanaethu am adroddiad o ddull marwolaeth Moses.

---

# LLYFR V.

*Yn cynnwys Amseriad o bedwar cant a deg a thrugain o Flynyddoedd.*

### O FARWOLAETH MOSES HYD FARWOLAETH ELI.

## PENNOD I.

*Am y Rhyfel a ddygwyd ym mlaen gan Joshua yn erbyn y Canaaneaid, a hynod lwyddiant yr Hebreaid.*

WEDI cymmeryd Moses ymaith o blith dynion, yn y modd a grybwyllwyd yn flaenorol, ac wedi i'r holl ddefodau perthynol i'w alarnad ef gael eu dibennu; gorchymmynodd Joshua i'r lliaws ymbarottoi eu hunain i ymgyrch. Efe hefyd a anfonodd yspiwyr i Jericho, * i weled eu cadernid yno, ac i wybod eu bwriadau. Ond efe a ddododd ei wersyll mewn trefn, megis â bwriad i fyned dros yr Iorddonen ar amser cyfaddas. A chan alw atto bennaethiaid llwyth Reubel, a llywodraethwyr llwyth Gad, a hanner llwyth Manasseh (canys un hanner o'r llwyth hwn a ganiattaed iddynt gael preswylfa yng ngwlad yr Amoriaid, yr hon ydoedd y seithfed ran † o wlad Canaan;) efe a ddygodd ar gof iddynt yr hyn a addawsent wrth Moses, ac a'u cynghorodd ar gyfrif y gofal a gymmerasai Moses drostynt, yr hwn ni flinodd un amser yn gwneuthur daioni iddynt, ïe pan ydoedd ym mron marw; ac ar gyfrif y lles cyffredin, fod iddynt barottoi eu hunain yn ewyllysgar i gyflawni yr hyn yr oeddynt wedi ei addaw. Felly efe a gymmerodd ddeng mil a deugain o honynt, ac a gychwynodd gyd â hwynt o Abila i'r Iorddonen, yr hyn ydoedd drugain o 'stadau.

Wedi iddo wersyllu, yr yspiwyr a ddychwelasant atto ar fyrder, wedi deall yn dda am holl amgylchiad y Canaaneaid. Canys yn gyntaf, cyn i neb wybod am danynt, hwy a gawsant lawn olwg ar ddinas Jericho a'i hamgylchoedd, heb ddim anflonyddwch, ac a welsant pa rannau o'r muriau oedd gadarn, a pha fannau ydoedd fwyaf egwan, a pha un o'r pyrth ydoedd hawsaf i gynnwys mynediad eu lluoedd i mewn. Yn awr, y rhai a'i cyfarfuant ni chymmerasant sulw o honynt pan eu gwelant, gan dybio nad oeddynt ond rhyw ddieithriaid, y rhai a arferent fod yn dra manwl yn craffu ar bethau hynod y

---

* Jos. ii. t. † Yr Amoriaid oeddynt un o saith genhedlaethau Canaan. Yn ganlynol Reland a feddylia nad oedd Josephus yn golygu eu tir tu hwnt i'r Iorddonen fel seithfed ran o holl wlad Canaan, ond yr Amoriaid fel seithfed cenedl. Ei reswm yw, fod Josephus, yn gystal a'n Bibl, yn gyffredin yn gwahaniaethu y tir tu hwnt i'r Iorddonen oddiwrth dir Canaan. Ac ni ellir gwadu eu bod mewn manylrwydd yn wahanol. Etto yn ol i ddau lwyth a hanner o'r deuddeg llwythau ddyfod i'w etifeddu, gellid mewn ffordd gyffredin ei gymmeryd am dir Canaan, Palestina, neu Judea. O'r hyn y mae gennym siampl amlwg o'n blaen yn Josephus, geirian yr hwn sy'n eglur arwyddo, wrth gymmeryd y cwbl o dir Canaan, neu 'r hyn a breswylid gan yr holl ddeuddeg llwythau ynghyd, a'i wahanu yn saith o rannau; y lle tu hwnt i'r Iorddonen ydoedd o ran maintioli y tir, yn un seithfed ran o'r cwbl. A hyn a gyttuna â darluniad Reland o'r wlad honno; pa un ydoedd yn dra ffrwythlon, a chyfleus yn borfa, fel y daliwyd sulw gan y ddau lwyth a hanner, Num. xxxii. 1. 4. 16. ac ydoedd yn cynnal ynghylch y bummed ran o'r holl bobl.

ddinas, ac ni chymmerasant hwy am elynion. Yn yr hwyr aethant i mewn i westfa neu dafarn-dy wrth fur y ddinas, i swppera: ond wedi iddynt orphen eu pryd, ac yn ystyried pa fodd i fyned ymaith, hyspysrwydd a ddaeth at y brenin fod rhyw bersonau wedi dyfod o wersyll yr Hebreaid, i gymmeryd golwg o'r ddinas fel yspiwyr, a'u bod wedi myned i mewn i dafarn-dy a gedwid gan Rahab, y rhai a ymddangosasant yn dra gofalus rhag eu datguddio. Felly efe a anfonodd yn union-gyrch ac a orchymmynodd eu cymmeryd hwynt, a'u dwyn atto ef i'w holi drwy arteithiau, ac i wybod beth ydoedd eu hymotyniad yno. Cyn gynted ag y deallodd Rahab fod y negeseuwyr yn nesau yno, hi a guddiodd yr yspiwyr mewn bolldeidiau llin, y rhai a ddodasid i sychu ar nen y tŷ, ac a ddywedodd wrth y negeseuwyr a anfonasid gan y brenin, i ryw ddieithriaid anadnabyddus swppera gyd â hi, ychydig cyn machludiad haul, a'u myned hwy ymaith; y rhai a ellid yn hawdd eu goddiweddyd, os oeddynt o fwriad niweidiol i'r ddinas, neu yn debyg o ddrygu 'r brenin. Felly y negeseuwyr wedi eu twyllo * y modd hwn gan y ddynes, heb ddim amheuaeth o'r peth, a aethant ymaith, heb gymmaint a chwilio y tafarn-dy; ond hwy yn ddioed a erlidiasant ar eu hol ar hyd y ffyrdd a farnent fod eu tramwyaeth, yn neillduol y rhai oedd yn arwain tu a'r afon, ond ni chlywsant ddim o'u hanes, ac felly hwy a beidiasant ag erlid ymhellach. Ond wedi i'r terfysg fyned drosodd, Rahab a ddug y dynion i lawr, ac a ddymunodd arnynt, mor gynted ag y cymmerent feddiant o wlad Canaan, pan fyddai yn eu gallu wneuthur cymmwynas iddi am eu hachub hwynt, i gofio pa berygl yr aethai hi dano er eu mwyn; oblegid pe daliasid hi yn eu cuddio, ni allasai ddiangc rhag dinystr arswydus iddi hi a'i theulu. Ac felly hi a barodd iddynt ddychwelyd adref, gan ddymuno iddynt dyngu wrthi, am ei hachub hi a'i theulu, pan gymmerent y ddinas a difetha ei holl drigolion, fel yr amcanasant wneuthur. Canys mor bell a hynny y sicrhasid hi gan y dwyfol wyrthiau ar eu rhan hwynt a glywsai eisoes am danynt. Felly yr yspiwyr hyn a addefasant eu bod dan rwymau iddi am yr hyn a wnaethai yn barod; a chyd â hynny a dynasant i ddychwelyd yn ol ei charedigrwydd, nid yn unig mewn geiriau ond mewn gweithredoedd: yna hwy a roddasant y cyngor hwn iddi, Pan ganfyddai y ddinas yn agos a'i chymmeryd, bod iddi grynhoi ei heiddo a'i theulu oll ynghyd er diogelwch, i'w thŷ, a rhoddi llinynnau cochion o flaen ei drysau neu ffenestri, fel y byddai i'r llywydd Hebreaidd adnabod ei thŷ, a pheidio gwneuthur niweid iddi: "Canys," eb hwy, "nyni a'i gwnawn yn hyspys o'r tro hwn, oblegid y gofal a gymmeraist i'n gwaredu ni; ond os syrth rhai o dy deulu yn y frwydr, na feia arnom ni; ac yr ydym yn attolygu ar y Duw hwnnw yn enw pa un y tyngasom, na fyddo anfoddlon i ni, megis pe torrem ein llwon." Felly y gwŷr wedi gwneud y cyttundeb hwn a aethant ymaith, gan ollwng eu hunain wrth râff dros y mur, ac felly y diangasant ac y daethant at eu pobl eu hunain, gan adrodd yr hyn oll a wnaethent yn eu taith i'r ddinas hon. Joshua hefyd a fynegodd i Eleazar yr archoffeiriad a'r henuriaid, yr hyn a dyngasai y cennadau wrth Rahab, y rhai oll a gydgadarnhasant y llwon a wnaethpwyd iddi.

Yn awr, tra yr oedd Joshua y pen-llywydd yn pettruso ynghylch eu mynediad dros yr Iorddonen, canys yr afon oedd a'i rhediad yn ffrwd gref, ac ni ellid â phontydd fyned drosti; hefyd ni adeiladwyd pontydd arni erioed hyd y pryd hwnnw: a chan ammeu os cynnygiai wneuthur pont, na addawai y gelynion amser iddo i'w

* Mae 'n ymddangos yn amlwg wrth hanes yr yspiwyr hyn, a gwaith y dafarn-wraig Rahab yn twyllo negeseuwyr brenin Jericho, drwy ddywedyd anwir wrthynt, mewn trefn i achub bywydau yr yspiwyr, ac etto y canmoliaeth a roddir i'w ffydd a'i gweithredoedd da yn y Testament Newydd, Heb. xi. 31. Iago ii. 25. yn gystal a thrwy siamplau cyfattebol eraill yn yr Hen Destament ac yn Josephus, nad oedd y dynion goreu y pryd hynny yn pettruso twyllo gelynion cyhoeddus a ddifethid yn gyfiawn; ac hefyd i dwyllo dynion drwg, er mwyn achub bywydau, a gwaredu eu hunain o dan lywodraeth eu gorthrymwyr anghyfiawn, a hynny drwy adrodd ffalsder. Hyn i gyd yr wyf yn ei feddwl pan na yrrid hwynt i'w llwon, yn amgen ni allasent fyth fyned ym mlaen a'r fath arferion. Ac nid oedd Josephus ei hun o dŷb neu arferiad arall; fel y bydd i mi sylwi mewn nod ar Hynaf. IX. 4. 3. A sylwch, fy mod etto yn galw y ferch hon Rahab yn dafarn-wraig, ac nid puttain; gan nad yw yr holl hanes yn ein llyfrau eraill, ac yn enwedig yn Josephus, yn arwyddo dim yn rhagor. Yr ydoedd yn wir yn beth tra mynych i fod gwragedd, y rhai a gadwent dafarndai yn cael eu galw yn butteiniaid, drwy oddef putteindra yn eu tai; fel yr oedd y gair a arferid am butteiniaid cyffredin, yn cael ei briodoli iddynt hwy. Gwel nod Dr. Bernard ar y lle yma, a Barn. xi. 1.

gorphen; ac ysgraff-lestri nid oedd ganddynt i nofio drosti hi. Eithr addawodd Duw felly drefnu yr afon fel yr elent hwy drwyddi hi, a hynny drwy droi yn ol y rhan fwyafo'i dyfroedd. Felly Joshua ar ol deuddydd a barodd i'r fyddin a'r holl liaws fyned drosodd yn y drefn ganlynol:—Yr offeiriaid a aethant yn gyntaf, a'r arch gyd â hwynt; yna 'r aeth y Lefiaid, yn dwyn y tabernacl, a'r dodrefn perthynol i'r aberthau; yn ol pa rai y canlynodd yr holl lu yn ol eu llwythau, gyd â'u plant a'u gwragedd yn y canol, megis yn ofni am danynt hwy rhag eu dwyn ymaith gyd â'r ffrwd. Ond cyn gynted ag y bu i'r offeiriaid fyned i mewn i'r afon, ymddangosodd y gellid ei rhydio, gan fod dyfnder y dwfr wedi treio, a'r gwaelod tywodlyd yn ymddangos; canys nid oedd y ffrwd mor nerthol a chwyrn ag i'w ddwyn ymaith gan ei rhyferthwy: felly hwy oll a aethant dros yr afon yn ddiofn, wedi ei chael yn gymmwys yn yr un drefn ag y rhagaddawsai Duw ei gosod. Ond yr offeiriaid a safasant yn llonydd ynghanol yr afon, nes i'r lliaws fyned drwodd, a chyrraedd i'r làn yn ddiangol; ac wedi i'r cwbl ddyfod i dir, yr offeiriaid a ddaethant i fynu hefyd o'r afon, a'r dwfr a lanwodd ac a ddychwelodd yn llifeiriant rhedegog megis o'r blaen. Yn ganlynol, yr afon, mor gynted ag yr aeth yr Hebreaid allan o honi, a gyfododd ac a chwyddodd i'w huchder arferol o'r blaen.*

Felly 'r Hebreaid a aethant ymlaen ynghylch deugain a deg o 'stadau ymhellach, ac a wersyllasant ddeg o 'stadau oddiwrth Jericho. Ond Joshua a adeiladodd allor o'r cerrig hynny y rhai a ddygasai pennau'r llwythau gyd â hwynt o'r afon, wrth orchymmyn y prophwyd, i fod yn ol hynny yn goffadwriaeth o raniad y ffrwd, ac arnynt efe a offrymmodd aberth i Dduw; ac yn y lle hwnnw hwy a gadwasant y pasg, a chanddynt amldra o bob peth a fuasai yn eisiau arnynt hyd yno. Canys hwy a fedasant ŷd y Canaaneaid, ag ydoedd yn awr yn aeddfed, ac a gymmerasant bethau eraill fel ysglyfaeth: canys yno y bu i'w hymborth o'r blaen ddarfod, yr hwn ydoedd fanna, o ba un y bwyttasent ddeugain mlynedd.

Tra 'r ydoedd yr Israeliaid yn gwneuthur hyn, a'r Canaaneaid heb eu gorddiwes, ond a arosasant yn llonydd o fewn eu muriau eu hunain, Joshua a ymroddodd i warchae arnynt. Felly ar y dydd cyntaf o ŵyl y pasg, yr offeiriaid a ddygasant yr arch o amgylch ogylch, gyd â rhai yn arfogion i'w hymddiffyn hi. Yr offeiriaid hyn a aethant ym mlaen, dan chwythu yn eu saith udgyrn, ac annog y fyddin i fod yn galonnog; a hwy a amgylchynasant y ddinas, a'r henuriaid yn eu dilyn: ac wedi i'r offeiriaid yn unig chwythu yn yr udgyrn,† canys ni wnaethant yn rhagor, hwy a ddychwelasant i'r gwersyll. Ac wedi iddynt wneuthur hyn dros chwe' diwrnod, ar y seithfed Joshua a gasglodd y gwŷr arfog, a'r holl bobl ynghyd, ac a ddywedodd fod y ddinas yn awr i gael ei chymmeryd; gan y byddai i Dduw y dydd hwnnw ei rhoddi iddynt, drwy syrthiad y muriau i lawr, a hynny o honynt eu hunain heb eu llafur hwy. Pa fodd bynnag, efe a archodd iddynt ladd pob un o'r dynion a gymmerent, heb ymarbed oddiwrth laddfa eu gelynion, drwy ludded neu dosturi; ac na chwympent ar yr yspail, a chymmeryd eu gwyrdroi drwy hynny oddiwrth erlid eu gelynion pan ffoent ymaith; ond i ddifetha pob creadur byw, heb gymmeryd dim er eu mantais neillduol eu hunain. Efe a orchymmynodd iddynt hefyd ddwyn ynghyd yr holl arian ac aur, fel eu dodid o'r neilldu megis blaenffrwyth i Dduw, allan o'r gorchestwaith hwn, megis wedi ei ynnill oddiwrth y ddinas gyntaf a gymmerasant; yn unig bod iddynt arbed Rahab, a'i chadw hi a'i theulu yn fyw, o herwydd y llw a dyngasai yr yspiwyr wrthi.

Wedi iddo ddywedyd hyn, a gosod ei fyddin mewn trefn, efe a'u harweiniodd yn erbyn y ddinas; felly hwy a aethant o amgylch y ddinas drachefn, a'r arch yn myned o'u blaen, a'r offeiriaid yn annog y bobl i fod yn ffyddlon yn y gwaith: ac wedi ei hamgylchynu seithwaith, a sefyll ychydig yn ol hynny, y mur a syrthiodd i.

* Jos. iv. 10.

† Jos. vi. 13.

lawr; pan na osodasid un offeryn rhyfel, neu wrthwynebiad arall i'w erbyn gan yr Hebreaid.

Felly hwy a aethant i mewn i Jericho, ac a laddasant yr holl ddynion oedd ynddi, a hwy yn eu dychryn wrth ddadymchweliad y caerau; eu cefnogrwydd a ddiflannodd, ac nid ydoedd ynddynt allu i amddiffyn eu hunain; felly hwy a laddwyd, rhai yn y ffyrdd a'r heolydd, a'r lleill a ddaliwyd yn eu tai; ni roddodd dim gynnorthwy iddynt, ond hwy a ddifethwyd oll, hyd yn oed y gwragedd a'r plant, a'r ddinas a lanwyd â chyrph meirw, ac nid oedd un a ddiangodd. Hwy hefyd a losgasant yr holl ddinas, a'r wlad o'i hamgylch, ond hwy a gadwasant Rahab a'i theulu yn fyw, y rhai a ffoisant i'w thafarn-dy; a phan ddygwyd hi at Joshua, efe a addefodd eu dyled o ddiolchgarwch iddi am achubiaeth yr yspiwyr. Efe hefyd a ddywedodd yr ymddangosai yn ol-llaw yn ei wobrwyon iddi; ac am hynny efe a bennododd ryw gyfraniadau o dir iddi, ac a'i parchodd yn fawr fyth ar ol hynny.

Y rhan a ddiangasai o'r ddinas heb losgi, efe a'i dymchwelodd o'i sylfaeni, gan gyhoeddi melldith * yn erbyn ei phreswylwyr, os rhyw un a ewyllysiai drachefn ei hadeiladu; y modd ar osodiad sylfaeni ei muriau yr ymddifadid ef o'i fab hynaf, ac ar ei gorpheniad y torrid ymaith ei fab ieuangaf: † ond y peth a ddigwyddodd yn ol hyn ‡ cawn lefaru am dano rhagllaw.

Yn awr, yr ydoedd mesur annhraethol o arian ac aur, ac heblaw hyn o bres hefyd, wedi eu pentyrru ynghyd allan o'r ddinas, pan gymmerwyd hi; heb neb yn troseddu y gorchymmyn, neu yn darguddio er eu mantais neillduol eu hunain: pa ryw ysglyfaeth Joshua a'u dododd i ofal yr offeiriaid, i'w gosod i fynu ganddynt ym mhlith y trysorau: ac fel hyn y difethwyd Jericho.

Ond yr ydoedd un Achar, § fab Charmi, fab Zebedias, o lwyth Judah; yr hwn wedi cael gwisg frenhinol wauedig o aur, ac hefyd darn o aur, a'i bwysau yn ddau cau' sicl; ‖ efe a dybiodd ei fod yn beth tra chaled i'r fath yspail a gymmerasai efe, drwy gymmaint o berygl, gael eu rhoddi ymaith, a'u haberthu at wasanaeth Duw, yr hwn nid oedd arno angen o honynt: o herwydd paham efe a gloddiodd ffos ddofn yn llawr ei babell, ac a'u gosododd i mewn yno, gan feddwl y cuddid hyn nid yn unig oddiwrth ei gyd-filwyr, ond oddiwrth Dduw hefyd.

Yn awr, y lle y gwersyllodd Joshua ynddo ydoedd Gilgal, ¶ yr hyn sydd yn arwyddo rhydd-did;** canys wedi eu dyfod yn awr dros afon yr Iorddonen, yr oeddynt yn edrych arnynt eu hunain megis wedi eu rhyddhau o'r trallodion a fuasent ynddynt gan yr Aiphtiaid, ac wedi hynny yn yr anialwch.

Ychydig o ddiwrnodiau wedi 'r dinystr a oddiweddodd Jericho, Joshua a anfonodd dair mil o wŷr arfog i gymmeryd Ai, dinas oedd yn sefyll uwchlaw Jericho; ond wrth ymladd o bobl Ai â hwynt, curwyd hwy yn eu hol, a chollasant yn yr ymdrech un ar bymtheg ar hugain o'u gwŷr.†† Pan fynegwyd hyn i'r Israeliaid, hwy a wnaethpwyd yn dra athrist, ac yn anghyssurus iawn; nid yn gymmaint o herwydd perthynas y gwŷr a syrthiasant iddynt hwy, er mai dynion da y cyfrifid hwynt, ac yn haeddiannol o'u coffa ganddynt, ond oblegid yr anobaith a barodd iddynt: canys pan gredasant eu bod eisoes mewn effaith yn feddiannol o wlad Canaan, ac y dy-

* Ar yr achos o'r aberthiad hwn o Jericho i ddinystr, a hynod gospedigaeth Achar, yr hwn a droseddodd y llw, a chosp troseddwyr eraill rhagllaw, Hiel, 1 Bren. xvi. 34. ac hefyd am gospedigaeth Saul, am droseddu y cyffelyb lw, yn erbyn yr Amaleciaid, 1 Sam. xv. Gallwn ystyried beth ydoedd iawn ddefnydd y gyfraith honno, Lef. xxvii. Ni chai neb diofrydedig, y rhai a ddiofrydid gan ddynion, eu gwaredu, ond oeddynt sicr o'u rhoi i farwolaeth, h. y. Pa bryd bynnag y rhoddid i fynu elynion cyhoeddus yr Iuddewon, am eu drygioni eu hunain, yn ol y gorchymmyn dwyfol i'w difetha, megis yr oedd saith genedl ddrygionus Canaan, a'r pechaduriaid hynny yr Amaleciaid, 1 Sam. xv. 18. (gwel nod yn IV. 7.) yr oedd yn hollol anghyfreithlon caniattau i'r gelynion hyn gael eu hadbrynu a'u harbed drachefn; ond a oeddent i'w llwyr ddifetha. Gwel Num. xxi. 2, 3.

† Jos. vi. 26. ‡ Hyn sydd ddiffygiol yn awr yn Josephus.

§ Nad Achan ydoedd enw yr yspeilydd yma, fel yn y copiau cyffredin, ond Achar, megis yma yn Josephus, ac yn y Gosodiadau Apostolaidd, VII. 2. a lleoedd eraill, sydd amlwg, drwy gyfeiriad at yr enw hwnnw ym melldith Joshua, "Am i ti ein blino ni, yr Arglwydd a'th flina dithau." Lle y mae 'r geiriau Hebraeg yn cyfeirio yn unig at yr enw Achar, ond nid Achan. Yn ganlynol, y dyffryn Achar neu Achor, hwnnw ydoedd, ac sydd etto yn lle adnabyddus ychydig tu a'r gogledd o Gilgal, ac a elwid felly o ddyddiau Joshua hyd y dydd hwn. Gwel Jos. vii. 24, 26. Esay lxv. 10. Hos. ii. 15. a nodau Dr. Bernard yma.

‖ Yma y mae Dr. Bernard yn iawn sylwi, fod ychydig o eiriau wedi eu didol o gopiau Josephus, ar gyfrif ail-adroddiad y gair siclau, ac y dylid ei ddarllen fel hyn, Darn o aur ag oedd yn pwyso 50 o siclau, ac un o arian a bwysai 200 o siclau, megis yn ein copiau eraill. Jos. vii. 21.

¶ Jos. v. 9. ** Yr wyf yn cyttuno â Dr. Bernard, ac yn cymmeradwyo deongliad Gilgal, am rydd-did, gan Josephus.

†† Jos. vii. 5.

chwelai y fyddin yn ol o'r frwydr yn ddigoll, megis y rhagaddawsai Duw iddynt, yr oeddynt yn awr yn annisgwyliadwy yn canfod eu gelynion yn llwyddo gyd â gorfoledd; felly dodasant sach-liain dros eu gwisgoedd, ac a barhasant mewn wylofain a dagrau dros yr holl ddiwrnod hwnnw, heb ymofyniad lleiaf am luniaeth, ond a osodasant yr hyn a ddigwyddodd yn fawr at eu calonnau.

Pan welodd Joshua y fyddin yn y fath drwm gystudd, ac wedi eu meddiannu ag ofnau o aflwyddiant yn eu holl ymgyrch, efe a nesâodd gyd â hyder at Dduw, ac a ddywedodd, "Ni ddaethom hyd yma yn ein byrbwylldra ein hunain, megis pe meddem nerth i ddarostwng y tir yma â'n harfau ein hunain, eithr drwy annogiad dy was Moses, o herwydd addaw o honot ti drwy amryw arwyddion i roddi i ni y tir hwn yn etifeddiaeth, ac y byddai i ti beri i'n llu ragori bob amser mewn rhyfel ar ein gelynion; ac yn ganlynol ni a gawsom eisoes radd o lwyddiant yn gyfattebol i'th addewidion: ond o herwydd yn awr ein maeddu yn annisgwyliadwy, a cholli o honom rai gwŷr o'n byddin, yr ydym yn ofidus o'i herwydd, ac megis mewn amheuaeth o'r hyn a addewaist, ac yn ofni na allwn hyderu ar yr hyn a ragfynegodd Moses dy was i ni; ein disgwyliadau yn yr amser i ddyfod sydd yn ein brawychu, o herwydd cyfarfod o honom â'r fath aflwydd yn nechreuad ein hymdrech. Ond bydded i ti, O Arglwydd, ein rhyddhau oddiwrth yr amheuon yma, canys ti a fedri gael allan feddyginiaeth i'r anhwyl hon, drwy drefnu i ni fuddugoliaeth, yr hyn a symmud y gofidiau yr ydym danynt yn bresennol, ac a ragflaena ein hanymddiried mewn perthynas i'r hyn a ddaw."

Yr erfyniadau hyn a osododd Joshua i fynu at Dduw, fel ag yr oedd yn gorwedd ar ei wyneb; ar yr hyn Duw a'i hattebodd ef, ar fod iddo gyfodi a phuro ei lu oddiwrth yr halogrwydd oedd wedi dyfod i mewn iddynt; oblegid fod pethau cyssegredig wedi eu lladratta yn ddigywilydd, ac mai hyn ydoedd yr achos i'r anhap presennol ddigwydd iddynt; a phan chwilient allan a chospi y troseddwr, y cymmerai efe ofal i drefnu iddynt yn wastadol fuddugoliaeth ar eu gelynion. Hyn a fynegodd Joshua i'r bobl; a chan alw Eleazar, yr archoffeiriad, a'r gwŷr mewn awdurdod, efe a fwriodd goel-brennau ar y naill lwyth ar ol y llall; a phan ddangosodd y coelbren i'r weithred ddrygionus yma gael ei chyflawni gan un o lwyth Judah, yna drachefn efe a fwriodd y coelbren ar yr amryw deulnoedd perthynol iddo, felly fe 'i cafwyd yn gyssylltiedig â theulu Zachar; ac wedi i holiad gael ei wneuthur ar wr ar ol gwr, cafwyd y trosedd yn Achar, yr hwn wedi i Dduw wasgu arno i'r eithaf, ni allai wadu y gwirionedd; ond a addefodd y lladrad, ac a ddug allan yr hyn a gymmerasai i'w canol hwynt: felly y gwr hwn a roddwyd yn ddioed i farwolaeth, ac ni chwanegwyd iddo fwy na chael ei gladdu liw nos mewn modd dirmygus, a'r fath ag ydoedd yn addas i ddrwg-weithredwyr cyhoeddus.

Wedi i Joshua y modd yma buro 'r llu, efe a'u tywysodd yn erbyn Ai; ac wedi iddo yn y nos osod cynllwyn o amgylch y ddinas, efe a ymosododd ar y gelynion gynted ag yr aeth yn ddydd: ond fel yr oeddynt yn nesau yn hyderus yn erbyn yr Israeliaid, o herwydd eu buddugoliaeth flaenorol, efe a barodd iddynt goelio ei fod yn cilio oddiwrthynt, a thrwy 'r moddion hynny efe a'u tynnodd oddiwrth y ddinas, a hwy yn dychymmyg mai erlid eu gelynion o hyd yr oeddynt, gan eu gwawdio hwynt, megis pe buasai yr un modd gyd â hwynt ag yn y frwydr o'r blaen. Wedi hyn Joshua a orchymmynodd i'w wŷr ddychwelyd o amgylch, ac ymosod yn erbyn y tu-wyneb i'w byddin. Yna y gwnaeth arwyddion a gyttunasid arnynt rhyngddo ef a'r cynllwynwyr, gan eu hannog i ymladd; felly hwy a aethant ar frys i mewn i'r ddinas, a'r preswylwyr ar ei muriau, ac eraill mewn dychryn, a aethant i weled y rhai oedd y tu allan i'r pyrth. Yn ganlynol y gwŷr hyn a gymmerasant y ddinas, ac a laddasant y rhai oll a gyfarfyddent: ond Joshua a wnaeth i'r rhai oll a ddeuai i'w erbyn ymladd law-law, gan eu gorchfygu hwynt, a gwneuthur iddynt ffoi ymaith; ac fel y gyrrid hwynt tu a'r ddinas,

heb feddwl fod wedi cyffwrdd â hi, cyn gynted ag y gwybuont ei chymmeryd, a darfod ei llosgi hi, gyd â'u gwragedd a'u plant, hwy a grwydrasant o amgylch yn y meusydd mewn cyflwr gwasgaredig, heb allu mewn un ffordd eu hamddiffyn eu hunain, o herwydd na feddent neb i'w diwallu. Yn awr, wedi dyfod y trallod hwn ar wŷr Ai, yr oedd yno nifer mawr o blant, o wragedd, a gwasanaeth-ddynion, a mesurau aneirif o ddodrefn. Yr Hebreaid hefyd a gymmerasant finteioedd o anifeiliaid, a llawer iawn o arian, oblegid mai lle cyfoethog ydoedd: felly pan ddaeth Joshua i Gilgal, efe a rannodd yr holl yspail yma ym mhlith y milwyr.

Ond y Gibeoniaid, y rhai oedd yn preswylio yn gyfagos i Jerusalem, pan welsant pa fath drueni a ddigwyddasai i drigolion Jericho, ac hefyd i breswylwyr Ai, ac a ofnasant y deuai y cyffelyb ddinystr arnynt hwythau, ni thybiasant yn gymmwys ofyn trugaredd gan Joshua, canys dychymmygu yr oeddynt na thrugarhaed ond ychydig wrthynt gan un a luniasai ryfel yn bwrpasol i ddinystrio cenedl y Canaaneaid. Ond hwy a gymmellasant bobl Cephira a Ciriath-jearim, y rhai oeddynt eu cymmydogion, i gyd uno mewn cyngrair â hwynt, gan ddywedyd wrthynt na allent hwy eu hunain ochelyd y perygl yr oeddynt oll ynddo, os byddai i'r Israeliaid eu rhagflaenu, ac ymosod arnynt hwy: felly wedi iddynt eu perswadio, hwy a ymroesant i geisio diangc rhag arfau yr Hebreaid. Yn ganlynol ar eu cyttundeb i gyflawni yr hyn a fwriadasant, danfonasant gennadwyr at Joshua i wneud ammod o heddwch ag ef, gan ddewis y cyfryw ddinasyddion ag oedd fwyaf profiadol, ac yn gymhwysaf i wneud yr hyn a fyddai fwyaf manteisiol i'r cyffredin. Yn awr, y cennadwyr hyn a dybiasant yn beryglus i addef eu hunain o'r Canaaneaid, eithr meddyliasant y gochelent y perygl wrth ddywedyd na pherthynent ddim oll i'r Canaaneaid, ond eu bod yn aros mewn pellder mawr oddiwrthynt: ac a ddywedasant ymhellach, iddynt ddyfod o ffordd bell ar gyfrif y clod oedd Joshua wedi ei ennill am ei rinwedd; ac fel prawf o wirionedd yr hyn a ddywedasant, hwy a ddangosasant iddo eu gwisgoedd; bod eu dillad yn newyddion pan gychwynasant, ond a oeddynt wedi treulio yn fawr drwy feithder yr amser y buasent ar eu taith: ond mewn gwirionedd hwy a gymmerasant wisgoedd carpiog am danynt, i'r pwrpas i beri iddo gredu eu hymadroddion. Felly hwy a safasant ynghanol y bobl, ac a ddywedasant, eu hanfon gan bobl Gibeon, a'r dinasoedd o amgylch, y rhai ydoedd dra phell o'r tir yr oeddynt yn awr ynddo, i wneuthur ammod o heddwch â hwynt, a hynny ar y fath sylfaeni ag ydoedd arferedig ym mhlith eu tadau: canys pan ddeallent hynny drwy ffafr Duw, a'i roddi o hono iddynt, yr oeddynt i feddiannu tir Canaan o gyfiawnder; a dywedasant fod yn dda ganddynt ei glywed, a'u bod yn dymuno cael caniattâd i ddyfod o nifer eu dinasyddion. Fel hyn y llefarodd y cennadwyr yma, gan ddangos iddynt nodau eu hir ymdaith, a deisyfu ar yr Hebreaid i wneuthur ammod o heddwch a chyfeillgarwch â hwynt. Yn ganlynol, Joshua, gan gredu nad oeddynt o genedl y Canaaneaid, a addawodd ymheddychu â hwynt; yna efe ac Eleazar yr archoffeiriad, a'r henuriaid, a dyngasant wrthynt, y cyfrifent hwy yn gyfeillion a chymdeithaswyr, ac na chynnygient wneuthur dim a fyddai niweidiol i'w herbyn; a'r llû hefyd a gydsyniasant a'r ammodau a wnaethpwyd iddynt. Felly y gwŷr hyn wedi cael ei dymuniad drwy dwyllo 'r Israeliaid, a ddychwelasant adref; ond wedi i Joshua arwain ei fyddin i gwrr o'r wlad ag oedd wrth odre mynyddoedd yn y rhan hynny o Ganaan, efe a ddeallodd nad oedd y Gibeoniaid yn trigo ym mhell o Jerusalem, a'u bod hwy o hîl y Canaaneaid: felly efe a anfonodd am eu llywodraethwyr, ac a'u ceryddodd oblegid y twyll a osodasant arnynt. Eithr hwy a ddadleuasant drostynt eu hunain, nid oedd ffordd arall ganddynt i achub eu bywydau, a'u bod dan angenrheidrwydd o herwydd hynny i wneuthur defnydd o hono. Felly efe a alwodd ar Eleazar yr archoffeiriad, ac am yr henuriaid y rhai a farnent yn gymmwys eu gwneud yn weinyddion cyhoeddus, fel na thorrent y llw a wnaethant â hwynt; felly y gosodasant iddynt: a dyma

oedd y drefn a gymmerodd ygwŷr hyn i'w diogelu eu hunain rhag y dinystr ag ydoedd barod i'w gorddiwes.*

Ond brenin Jerusalem a feddyliodd o'i galon fod y Gibeoniaid wedi myned drosodd at Joshua: felly efe a alwodd frenhinoedd y cenhedlaethau cymmydogawl i uno ag ef i ryfela yn eu herbyn. Yn awr pan glybu 'r Gibeoniaid am y brenhinoedd hyn, y rhai oeddynt bedwar o nifer heblaw brenin Jerusalem, a'u bod yn gwersyllu gerllaw ffynnon neu bydew, heb fod yn neppell oddiwrth y ddinas, ac yn parottoi i warchae arnynt; hwy a ddanfonasant at Joshua ar iddo ddyfod i'w cynnorthwyo hwynt, canys eu sefyllfa ydoedd y fath a'u bod yn disgwyl eu difetha gan y Canaaneaid, ond eu bod yn meddwl y gellid eu hachub gan y rhai a ddaethant i ddinystrio y Canaaneaid, oblegid yr ammod o heddwch oedd rhyngddynt â hwy. Yn ganlynol Joshua a wnaeth frys gyd â'i fyddin i fyned i'w cynnorthwyo hwynt; ac wedi ymdaith ddydd a nos, yn y bore efe a syrthiodd ar y gelynion fel yr oeddynt yn myned i fynu i warchae ar Gibeon; ac wedi eu gorchfygu, efe a erlidiodd ar eu hol i wared hyd ddisgynfa 'r mynyddoedd. Gelwid y lle Beth-horon, lle y deallodd hefyd i Dduw ei gynnorthwyo, yr hyn a amlygwyd drwy daranau, a disgynfa cenllysg o fwy maintioli na chyffredin. Ymhellach fe ddigwyddodd estyniad yn y dydd, † fel na ddeuai r nos ym mlaen yn rhy glau, a bod yn rhwystr i awyddfryd yr Hebreaid i erlid eu gelynion; yn gymmaint ag y darfu i Joshua gymmeryd y brenhinoedd, y rhai a ymguddiasant mewn ogof ym Macceda, ac a'u rhoddodd i farwolaeth. Yn awr, ddarfod i'r dydd gael ei estyn y pryd hyn, a'i fod yn hwy na chyffredin, sy'n cael ei wirio gan y llyfrau a osodwyd i fynu yn y deml.

Wedi i'r brenhinoedd hyn y rhai a wnaethant ryfel â'r Gibeoniaid, gael eu dadymchwel y modd hwn, Joshua a ddychwelodd drachefn i barthau mynyddig Canaan; ac wedi gwneuthur lladdfa fawr ar y bobl yno, a chymmeryd ysglyfaeth, efe a ddychwelodd i'r gwersyll yn Gilgal. ‡ Ac yn awr fe aeth son mawr o amgylch ym mysg y bobl gymmydogaethol am wroldeb yr Hebreaid; a'r rhai a glywsant am y nifer a ddifethwyd ganddynt a ddychrynwyd, yn ddirfawr. Felly y brenhinoedd ag oedd yn trigo o amgylch mynydd Libanus, y rhai oeddynt o'r Canaaneaid; a'r Canaaneaid hynny y rhai a drigasant yn y gwastadedd, gyd â chynnorthwyon o dir y Philistiaid, a wersyllasant yn Beroth, dinas yn Galilea uwchaf, heb fod neppell o Cadesh, pa un sydd hefyd yn Galilea. Rhifedi yr holl fyddin ydoedd dri chan' mil o wyr traed yn arfogion; deng mil o wŷr meirch, ac ugain mil o gerbydau. Felly lliaws y gelynion a barodd arswyd i Joshua a'r Israeliaid; a hwynt-hwy yn lle bod yn llawn gobaith am lwyddiant oeddynt grynedig a digred oblegid y mawr ddychryn a'u meddiannodd. Ar yr hyn y ceryddwyd hwynt gan Dduw o herwydd yr ofn yr oeddynt ynddo; gan ofyn a oeddynt hwy yn dymuno ychwaneg o gymmorth nag a fedrai efe estyn iddynt? Addawodd hefyd roddi iddynt fuddugoliaeth ar y gelynion; hefyd gorchymmynodd iddynt wneuthur meirch eu gelynion yn ddiddefnydd, a llosgi eu cerbydau. Felly Joshua a lanwyd o gefnogrwydd wrth yr addewidion hyn o eiddo Duw, ac a aeth allan ar frŷs yn erbyn y gelynion: ac yn ol taith o bum' diwrnod efe a ddaeth ar eu gwarthaf, gan ymgyssylltu brwydr â hwynt; yna y bu ymladdfa ofnadwy, a'r fath nifer a gwympwyd ag oedd anhawdd ei gredu gan y rhai a'i clywsant. Erlidiasant hwy hefyd i

* Josh. ix. 27.

† Pa un ai bod yr estyniad hwn o'r dydd, drwy arosiad yr haul a'r lleuad yn llonydd, yn naturiol a gwirioneddol, drwy wyrthiol attaliad beunyddiol gynhyrfiad y ddaear, am hanner cylch-dro; neu ei fod yn unig yn ymddangosol drwy awyrol screniad yn tebygoli i'r haul a'r lleuad dros gyhyd yn sefydlog, tra 'r oedd y cymmylau a'r nos yn cuddio y rhai gwirioneddol, a'r parhelion neu'r gau-haul yma yn rhoddi goleuni digonol i erlidiad a chyflawn fuddugoliaeth Joshua, ni ellir yn awr ei benderfynu. Philosophyddion ac astronomyddion a dueddant yn naturiol at y tyb diweddaf hwn. Yn y cyfamser y weithred ei hun a grybwyllid yn llyfr Jasher ag sydd yn awr ar goll, Jos. x. 13. ac a gadarnheir gan Esay xxviii. 21. a chan dad Sirach, Ecclus. xliv. 4. Dywedir hefyd am y goleuadau, gyd â pherthynas yn ddiau ar y sefydliad a'r mynediad yma yn ol yn nyddiau Joshua a Hezeciah. Ni syflodd y goleuadau o'u lleoedd er y dydd y crewyd hwynt; ni adawsent eu cylchoedd er y cenhedlaethau gynt, oddieithr i Dduw orchymmyn hynny iddynt wrth ddeisyfiad ei weision. Gwel Authen. Rec. Rhan I. t. d. 154.

‡ Jos. x. 15.

belldra mawr, ac a ddifethasant holl fyddin eu gelynion oddigerth rhyw ychydig a ddiangodd: a'r holl frenhinoedd a syrthiasant yn y frwydr; yn gymmaint a phan ydoedd diffyg dynion i'w lladd, Joshua a laddodd eu meirch, ac a losgodd eu cerbydau; ac a gerddodd yn mlaen drwy eu holl wlad heb ddim gwrthwynebiad; na neb yn meiddio cyfarfod ag ef mewn brwydr: ond efe a aeth rhagddo yn y blaen, gan gymmeryd eu dinasoedd drwy gynllwyn, a difetha y rhai oll a oddiweddai.

Y bummed flwyddyn yn awr a aethai heibio; † ac nid oedd un o'r Canaaneaid yn weddill mwy; oddigerth rhai a ddiangasent i leoedd o fawr gadernid. Felly Joshua a symmudodd ei wersyll i'r parthau mynyddig o'r wlad, ac a osododd y tabernacl yn Shiloh; ‡ canys hwnnw oedd yn ymddangos yn lle addas iddi, o herwydd tegwch ei sefyllfa, hyd y fath amser ag y byddai eu hamgylchiad yn caniattau iddynt adeiladu teml. Ac oddi yno efe a aeth i Shechem, ynghyd â'r holl bobl, ac a adeiladodd yno allor yn ol y cyfarwyddyd a roddasai Moses iddo. Yna efe a rannodd y dyrfa, ac a osododd un hanner ar fynydd Gerizzim, a'r hanner arall ar fynydd Ebal, ar ba fynydd yr ydoedd yr allor; efe hefyd a osododd yno lwyth Lefi a'r offeiriaid; ac wedi iddynt aberthu, a datgan y bendithion a'r melldithion, a'u gadael yn argraphedig ar yr allor, hwy a ddychwelasant i Shiloh.

Ac yn awr yr ydoedd Joshua yn oedrannus, ac a welodd nad ydoedd dinasoedd y Canaaneaid yn hawdd i'w cymmeryd; nid yn unig oblegid fod eu sefyllfa mewn lleoedd mor gedyrn, ond o herwydd nerth y muriau eu hunain: y rhai â hwy wedi eu hadeiladu o amgylch eu dinasoedd, a ymddangosasant yn ddigonol i wrthwynebu eu gelynion rhag gwarchae arnynt. Canys wedi clywed o'r Canaaneaid ddyfod yr Israeliaid allan o'r Aipht mewn trefn i'w difetha hwynt, yr oeddynt yn brysur drwy 'r holl amser hwnnw yn cadarnhau eu dinasoedd. Felly efe a gynnullodd y bobl ynghyd i Shiloh; ac wedi iddynt gyd â mawr-serch a brys ddyfod yno, efe a goffaodd iddynt pa lwyddiant mawr a gawsent eisoes, a pha bethau gogoneddus a wnaethid, a'r rhai hynny yn bethau ag oedd deilwng o'r Duw a'u galluogodd i'w cyflawni, a theilwng o rinwedd y cyfreithiau yr oeddynt hwy yn eu dilyn. Efe a ddaliodd sulw hefyd fod ‖ un ar ddeg ar hugain o'r brenhinoedd hynny a anturiasant ymladd â hwynt wedi eu gorchfygu; a phob byddin, pa mor liosog bynnag a fyddent, wedi eu difetha; fel nad oedd nemmor o'u hiliogaeth yn aros. Ac am y dinasoedd, tra 'r oedd rhai o honynt wedi eu cymmeryd, ac eraill yn aros i'w cymmeryd gyd ag estyniad amser a hir warchae; ar gyfrif cadernid y muriau, a hyder y trigolion ynddynt: yr oedd efe yn barnu yn rhesymmol fod i'r llwythau hynny a ddaethai gyd â hwynt o'r tu draw i'r Iorddonen, ac a fuasent gyfrannog o'r peryglon a aethant drwyddynt, fel eu cyd-garennydd, gael yn awr eu diswyddo a'u hanfon adref; a bod yn ddyledus diolch iddynt am y llafur a gymmerasant gyd â hwynt. Felly hefyd yr oedd yn ei olygu yn rhesymmol, ddanfon un gwr o bob llwyth, a hwnnw yn gyfryw ag y dygid tystiolaeth dda iddo am ei rinwedd; yr hwn a fesurai 'r tir yn ffyddlon, ac heb dwyll na dichell a roddai gyfrif o'i faintioli neu ehangder.

Yna Joshua wedi llefaru y modd hwn, a wybu fod y lliaws yn cymmeradwyo ei amcan. Felly efe a anfonodd wŷr ag oedd ddealladwy yn y gelfyddyd o fesuriad, i fesur eu gwlad, pa rai ni allent yn hawdd fethu rhoi sicrwydd o wirionedd y peth, ar gyfrif eu cywreinrwydd yn y gelfyddyd honno. Efe hefyd a roddes orchymmyn iddynt roddi pris neu werth ar fesuriaeth y rhannau hynny o'r tir ag oedd fwyaf ffrwythlon, a'r rhannau eraill nad oeddynt i'w cael felly. Canys y fath yw natur tir Canaan, ag y gall un edrych ar wastadedd ehang, y fath ag sydd yn dra chymmwys i ddwyn ffrwythau; pa le os cydmarir â rhannau eraill o'r wlad, a ellid ei gyfrif yn rhagorol ffrwythlon: etto mewn cydmariaeth i'r meusydd o gwmpas Jericho, a'r rhai hynny a berthyn i Jerusalem, ni ymddengys o ddim gwerth oll. Ac er ei fod yn digwydd nad oes gan y bobl hynny ond ychydig o'r fath

† Bl. 1484. ‡ Jos. xviii. 1.

‖ Jos. xii. 8—24.

yma o dir, a'i fod yn gyffredin yn fynyddig hefyd, etto nid yw yn dyfod yn ol i diroedd gwledydd eraill mewn daioni a harddwch. Am ba reswm Joshua a farnodd y dylid rhannu y tir rhwng y llwythau yn ol ei werth a'i ddaioni, yn hytrach nag yn ol ei ehangder; gan ei fod yn fynych yn digwydd fod un cyfair o ryw natur o dir yn gydwerth â mil o gyfeiriau o dir arall. Yn awr, y gwŷr a ddanfonwyd, y rhai mewn nifer oeddynt ddeg, a aethant o amgylch oll, ac a wnaethant gyfrifiad o werth ac ehangder y tir, ac yn y seithfed mis hwy a ddychwelasant i ddinas Shiloh, pa le y gosodasent i fynu y babell neu'r tabernacl.

Joshua yn awr a gymmerodd atto Eleazar a'r henuriaid, ynghyd a phennau y llwythau, ac a ddosprathodd y tir rhwng y naw llwyth,* a hanner llwyth Manasseh; gan drefnu maintioli pob rhan yn ol amldra rhifedi yr amrywiol lwythau.† Felly wedi iddynt fwrw coel-brennau, daeth y parthau uchaf o Judea i ran Judah, yn cyrraedd mor bell a Jerusalem, a'i led yn ymestyn at lynn Sodoma; a rhan y llwyth yma oedd yn cynnwys dinasoedd Ascalon a Gaza. Rhan Simeon, yr hwn oedd yr eilfed, oedd yn gynnwysedig o'r rhan hynny o Idumea ag oedd yn terfynu â'r Aipht ac Arabia. Am y Benjaminiaid, eu coelbren hwy ydoedd felly, fel yr oedd ei hyd yn cyrraedd o afon yr Iorddonen hyd y môr; ond ei led ydoedd yn terfynu â Jerusalem a Bethel, a hon oedd y gulaf o'r rhannau oll o herwydd ffrwythlondeb y tir; canys yr oedd yn cynnwys Jericho a dinas Jerusalem. Llwyth Ephraim a feddiannodd y tir ag oedd a'i hyd yn ymestyn o afon yr Iorddonen i Gezer: ond ei led ydoedd mor bell ag o Bethel i'r gwastadedd mawr. I hanner llwyth Manasseh y rhoddwyd tir o'r Iorddonen hyd ddinas Dora, ond ei led ydoedd hyd Bethshan, a elwir yn awr Scythopolis. Ac yn ol y rhai hyn yr ydoedd Issachar, pa un oedd a mynydd Carmel a'r afon yn hyd ei derfynau, ond ei derfyn mewn lled ydoedd mynydd Tabor. Rhan llwyth Zabulon a gynnwysai y tir oedd yn gorwedd mor bell a llyn Gennezareth, a'r hyn a berthynai i Carmel a'r môr. Llwyth Azer ydoedd â'r rhan hynny a elwid y Dyffryn, canys y cyfryw ydoedd; a'r holl dir hwnnw a orweddai gyferbyn a Sidon. Y ddinas Acre a berthynai i'w dosparth hwy, yr hon hefyd a elwir Aclipus. Y Nephthaliaid a dderbyniasant y parthau dwyreiniol, mor bell a dinas Damascus, a'r Galilea uwchaf, hyd fynydd Libanus, a ffynhonnau yr Iorddonen, pa un sydd a'i chyfodiad o'r mynydd hwnnw; sef, o'r rhan hynny o hono sydd a'i derfyn yn perthynu i'r ddinas gymmydogol Acre. Dosparth y Daniaid oedd gynnwysedig yn yr holl ran hynny o'r dyffryn ag oedd yn wynebu at godiad haul, ac a derfynid gan Azotus, a Dora; yr ydoedd hefyd ganddynt holl Jamina a Gath, o Ecron hyd y mynydd sydd yn terfynu â rhan ddechreuol llwyth Judah.

Yn ol y drefn hon y dosparthodd Joshua y chwe' chenedl ag sydd yn dwyn yr enw o feibion Canaan, gyd â'u tir, pa un ydoedd i'w feddiannu gan y naw llwyth a hanner; canys Moses a'i rhagflaenasai, ac a ddosparthasai eisoes wlad yr Amoriaid, pa un a elwid felly oddiwrth un o feibion Canaan, rhwng y ddau lwyth a hanner, megis y dangosasom eisoes; ond y parthau ynghylch Sidon, a'r mannau hefyd a berthynai i'r Arciaid, yr Amathiaid, a'r Adriaid, ni ddosparthasid etto yn rheolaidd.

Ond yn awr cafodd Joshua ei luddias o herwydd ei oedran i gwblhau yr hyn a amcanodd; a'r sawl a'i canlynasant yn y llywodraeth ni chymmerasant ond ychydig o ofal am yr hyn ag oedd yn fanteisiol i'r cyffredin: felly efe a roddodd orchymmyn ar bob un o'r llwythau na adawent neb o eppil y Canaaneaid yn y tir a rannesid iddynt wrth goelbren; am ddarfod i Moses sicrhau ym mlaenllaw iddynt, a hwy a allent ymorphwys ar hynny, fod eu diogelwch eu hunain, a'u sulw o'u cyfreithiau, yn ymddibynnu ar eu gilydd. Efe hefyd a archodd

* Jos. xiii. 7.

† Pe byddwn yn ysgrifennu at y dysgedig, angenrhaid fyddai im' nodi yn neillduol ar y rhan yma, ac eraill o ddaear-ddarluniad Josephus am wlad Canaan; ond yn y cyfieithiad hwn bydd ddigon i mi gyfarwyddo y darllenydd cyffredin at fy narlun o Palestina.


Map of the LAND of CANAAN,
Shewing the situation of the principal places mentioned in the History of the Jews.
THE GREAT SEA
Sidon
Tyre
Mt. Lebanon
Aphek
Achzib
Acco
Achshaph
Mt. Carmel
ASHER
NAPTHALI
ZEBULON
ISSACHAR
HALF OF MANASSEH
EPHRAIM
BENJAMIN
JUDAH
DAN
SIMEON
LAND OF THE PHILISTINES
AMALECHITES
EGYPT
River of Egypt
EDOM
Mt. Seir
HALF MANASSEH
KINGDOM OF BASHAN
ARGOB
LAND OF MIZPEH
GAD
REUBEN
AMMONITES
MOABITES
MIDIANITES
SYRIA DESERT
CŒLE SYRIA
Mt. Hermon
Mt. Gilead
Leish or Dan
Hazor
River Jordan
Waters of Merom
Kedesh
Cinneroth
Sea of CINNERETH
Abel Bethmaacah
Mount Tabor
River Kishon
Golan
Ashtaroth
Edrei
Jabesh Gilead
Megiddo
Taanach
Jezreel
Bethshan
Succoth
Zaretan
Ramoth Gilead
River Jabbok
Sea of Jazer
Jazer
Rabbah
Minnith
Shechem
Ophrah
Bethel
Bethaven
Jericho
Gilgal
Gibeon
Anathoth
Jerusalem
Bethlehem
Bezec
Engedi
Wilderness of Ziph
Ziph
Hebron
Carmel
Maon
Wilderness of Maon
Arad
Debir
Ziklag
Gaza
Brook Besor
Beersheba
Hormah
Kadesh Barnea
Asketon
Ashdod
Ekron
Gath
Brook Sorek
Elealah
Jahaz
Kedemoth
Mephaath
Arnon River
Aroer
SALT SEA
British Statute Miles.
5 10 20 30 40 50
34° 25' Longitude East from London
35° 25'
36° 25'

iddynt roddi un ar bymtheg ar hugain o'r dinasoedd i'r Lefiaid, oblegid eu bod eisoes wedi derbyn deg yng ngwlad yr Amoriaid; a thair o'r rhai hyn a ordeiniodd i'r ffoadnriaid llawruddiog, y rhai ydoedd i aros yno; canys yr oedd efe yn dra gofalus na esgeulusid dim o'r hyn a orchymmynasai Moses. Y dinasoedd hyn ydoedd—o lwyth Judah, Hebron; o lwyth Ephraim, Shechem; ac o lwyth Naphtali, Cadesh, yr hwn sydd le yn Galilea uchaf. Efe hefyd a ddosparthodd yn eu mysg weddill yr ysglyfaeth ag oedd etto heb ei gyfrannu, yr hyn ydoedd fawr iawn, a thrwy 'r hyn y daethant yn feddiannol ar gyflawnder o gyfoeth, yn gyffredinol ac yn bersonol; a hynny o aur, gwisgoedd, a dodrefn eraill, heblaw minteioedd o anifeiliaid y rhai ni ellid eu rhifo.

Ac ar ol hyn efe a gasglodd y lliaws ynghyd, ac a lefarodd fel hyn wrth y llwythau hynny ag oedd a'u sefydliad yn nhir yr Amoriaid tu hwnt i'r Iorddonen; canys deng mil a deugain o honynt hwy a ymarfogasant eu hunain, ac a aethant gyd â'u brodyr i ryfel: "Gan ddarfod i'r Duw hwnnw, yr hwn sydd Dad ac Arglwydd y genedl Hebreaidd, roddi yn awr i ni y tir hwn yn etifeddiaeth, gan addaw ein cadw yn y mwynhad o hono, megis yr eiddom ein hunain, byth; a chan ddarfod i chwi gyd â sirioldeb ymroddi eich hunain i'n cynnorthwyo pa bryd bynnag y bu arnom eisiau eich cymmorth, yn ol ei orchymmyn ef; nid yw ond peth cyfiawn, yn awr wedi myned ein holl anhawsderau drosodd, i ganiattau i chwi fwynhau gorphwysfa, ac na byddai i ni droseddu ar eich ffyddlondeb drwy geisio eich cynnorthwy yn hwy; a'i bod felly, os bydd drachefn arnom ddiffyg am dano, y gallom ei gael yn barod ar bob achosion angenrheidiol; ac na flinom chwi gymmaint yn awr, ac a'ch gwnelo yn hwyrfrydig i'n cynnorthwyo amser arall. Yr ydym gan hynny yn dychwelyd diolch i chwi, am y peryglon a aethoch drwyddynt gyd â ni; ac nid ydym yn ei wneuthur y pryd hwn yn unig, ond ni a fyddwn dueddol bob amser i gofio ein cyfeillion, a chadw yn ein meddyliau pa fanteision a gawsom oddiwrthynt; a'r modd y gadawsoch chwi o'r neilldu fwynhau eich happusrwydd eich hunain ar ein cyfrif ni; ac a lafuriasoch am yr hyn sydd gennym ni yn awr, drwy ewyllys da Duw, wedi ei feddiannu; ac ni foddlonasoch i fwynhau eich llwyddiant eich hunain, nes rhoddi o honoch gynnorthwy i ni ddyfod i fwynhau cyffelyb lwyddiant. Pa fodd bynnag, wrth uno eich llafur eich hunain a'r eiddom ninnau, chwi gawsoch ddigonedd o gyfoeth, ac a ddygwch gyd â chwi adref ysglyfaeth fawr, gyd ag aur ac arian, a'r hyn sydd ychwaneg na'r cwbl, ein hewyllys da ni tu ag attoch, a meddwl ewyllysgar i wneud taledigaeth am eich ffyddlondeb ym mha ddull bynnag y gweloch yn oreu; canys ni adawsoch yn ol ddim a ragofynnodd Moses gennych, ac ni ddiystyrasoch ef wedi ei farw a'i fyned oddiwrthych, fel nad oes dim a ddichon leihau y diolchgarwch sydd ddyledus i chwi gennym. Yr ydym gan hynny yn eich gollwng ymaith yn gyssurus i'ch etifeddiaethau eich hunain; ac yn dymuno arnoch ystyried nad oes un terfyn i'w osod i'r berthynas sydd rhyngom; ac na fyddo i chwi ddychymmyg, o herwydd yr afon sy'n aros rhyngom, eich bod chwi yn eppil wahanol oddi wrthym, ac nid yn Hebreaid; canys hiliogaeth Abraham ydym oll, nyni ag sydd yn preswylio yma, a chwithau a fo yn trigo acew; a'r un Duw yw yr hwn a ddygodd eich tadau chwi a ninnau i'r byd; addoliad a ffurf o lywodraeth pa un yr ydym i ofalu am danynt, fel y gorchymmynodd efe, a sylwi yn ddyfal arnynt: o herwydd tra parhaoch i wneud yn ol y deddfau hyn, Duw hefyd a ddengys ei hun yn drugarog ac yn gynnorthwywr i chwi; ond os dilynwch y cenhedloedd eraill, a gadael y cyfreithiau hyn, efe a wrthyd eich cenedl chwithau."* Wedi i Joshua lefaru fel hyn, a'u cyfarch hwynt oll, sef y rhai mewn awdurdod, un ar ol un, a'r holl dyrfa yn gyffredinol. Safodd wedi hyn yn y lle yr ydoedd; ond y bobl a hebryngasant y llwythau ar eu taith, a hynny nid heb lawer o ddagrau; ac yn wir prin y gwyddent pa fodd yn y diwedd i ymadael â'u gilydd.

Yn awr wedi i lwyth Reubel, a'r rhai hynny o Gad, a chynnifer o'r Manassiaid ag a'u dilynodd

* Jos. xxii. 1–6.

hwynt, fyned dros yr afon, hwy a adeiladasant allor * ar fryniau 'r Iorddonen, fel colofn o goffadwriaeth i'w hiliogaeth, ac arwydd o'u perthynas i'r rhai a breswylient yr ochr arall. Ond pan glybu y rhai ag oedd ar yr ochr arall fod y rhai a ymadawsant wedi adeiladu allor, ond heb glywed i ba ddiben y gwnaethpwyd, ond a ddychymmygent mai math o newydd-deb ydoedd, ac arweiniad i mewn i dduwiau dieithr i'w plith; nid oeddynt barod i anghredu y chwedl enllibus, mai i addoliad gau-dduwiau y gwnaethent hyn: o herwydd hyn ymwisgasant mewn arfau, megis pe buasant am ddial eu hunain ar y rhai a gyfodasant yr allor, ac yr oeddynt ynghylch myned dros yr afon i'w cospi am wyrdroi cyfreithiau eu gwlad: canys tybiasant nad oedd gymmwys iddynt eu harbed ar gyfrif eu carennydd, neu raddau y rhai a roesant yr achlysur; ond i ystyried ewyllys Duw, a'r dull yr oedd efe wedi ei drefnu i'w addoli. Felly y gwŷr hyn a ymarfogasant i ryfel; ond Joshua, ac Eleazar yr archoffeiriad, a'r senedd, a'u hattaliasant, ac a'u cynghorasant yn gyntaf i wneud prawf drwy eiriau o'u hamcan; ac yn ol hynny, os deallant fod eu hamcan yn ddrwg, yna yn unig myned ym mlaen i wneuthur rhyfel i'w herbyn. Yn ganlynol hwy a anfonasant fel cennadwyr attynt Phineas, mab Eleazar, a deg o bersonau yn rhagor, o rai cyfrifol ym mhlith yr Hebreaid, i ddysgu gwybod eu hamcan, paham wedi myned dros yr afon, y cyfodasant allor ar ei cheulennydd hi? Ond mor gynted ag y dygwyd y cennadwyr hyn dros yr afon, ac y daethant attynt, a chrynhoi cynnulleidfa ynghyd, Phineas a safodd i fynu ac a ddywedodd, "Y trosedd ag y buoch yn euog o hono sydd o natur rŷ erchyll i'w gospi yn unig â geiriau, neu eich gwella o'i herwydd dros yr amser a ddaw. Etto nid ydym yn golygu atgasrwydd eich trosedd felly, fel ag i gymmeryd arfau, a myned i frwydr er eich cospedigaeth chwi yn ddiattreg: ond ar gyfrif ein carennydd a'r possiblrwydd o'ch adferiad, nyni a gymmerasom y drefn hon o anfon cennadwri attoch; fel wedi i ni ddysgu gwybod yr iawn reswm am ba un i'ch cynnyrfwyd i adeiladu yr allor yma, na ymddengys ein bod yn rhy fyrbwyll yn ymosod arnoch ag arfau rhyfel, os profir wneuthur o honoch yr allor i ddibenion diniweid; ac y gallom yn gyfiawn osod cospedigaeth arnoch os gwelir yn amgen: canys prin y gallwn gredu eich bod chwi, y rhai a adnabuoch ewyllys Duw, ac a fuoch wrandawyr o'r sanctaidd gyfreithiau a roddodd ei hun i ni, yn awr wedi ymadael â ni, a myned i'ch rhandir eich hunain, pa un, drwy ewyllys Duw a'i ragluniaeth drosoch, a gawsoch drwy goelbren, ac wedi y cwbl ei anghofio, a gadael yr arch a'r allor hono, pa rai a berthynant yn neillduol i ni, a dwyn i mewn dduwiau dieithr, i ddilyn arferion drygionus y Canaaneaid. Yn awr, fe ymddengys y trosedd yn llai os edifarhewch y pryd hwn, ac ymattal rhag myned ym mlaen yn eich gwallgofrwydd, ond rhoddi dyledus barch a chadw yn eich meddwl gyfreithiau eich gwlad. Ond os parhewch yn eich pechodau, ni chwynwn ni ein poen i ymddiffyn eich cyfreithiau, ond a ddeuwn dros yr Iorddonen er eu hymddiffyniad, ac ymddiffyn gogoniant Duw hefyd; gan eich cyfrif chwi heb fod mewn un modd yn gwahaniaethu oddiwrth y Canaaneaid, ond a'ch difethwn chwi yn yr un dull ag y difethwyd hwythau; canys na ddychymmygwch o herwydd eich bod wedi dyfod dros yr afon, eich bod tu hwnt i gyrraedd llaw ddialeddol Duw. Yr ydych ym mhob man mewn lleoedd perthynol iddo ef, ac mae'n ammhossibl diangc oddi ar ei allu, a'r gosp a ddug efe arnoch. Ond os meddyliwch fod eich sefydliad yma mewn un modd yn rhwystr i'ch dychweliad at yr hyn sydd dda, nid rhaid i ddim ein hattal rhag dospartha o newydd dir ein hetifeddiaeth, a gadael yr hen wlad yma i fod yn borfa anifeiliaid: ond chwi a wnewch yn dda ddychwelyd at eich dyledswydd, a dodi heibio y beiau newyddion hyn. Ac yr ydym yn attolygu arnoch, er mwyn eich gwragedd a'ch plant, i beidio a'n cymmell i'ch cospi. Cymmerwch gan hynny y fath fesurau yn y gynnulleidfa hon, ac a fernir fod eich diogelwch eich hun, a'r rhai sydd anwyl gennych yn gynnwysedig ynddo; a chredwch fod yn well i chwi gael eich gorchfygu drwy eiriau, na

* Jos. xxii. 10.

pharhau yn eich bwriadau, a thrwy hynny brofi gweithrediad rhyfel."

Wedi i Phineas ymddiddan y modd hwn, llywodraethwyr y dyrfa, a'r holl liaws a ddechreuasant wneuthur amddiffyniad o honynt eu hunain, ymherthynas i'r hyn y cyhuddwyd hwy o'i blegid; ac a ddywedasant, "Nid ydym am ymadael â'r berthynas sydd rhyngom a chwychwi, ac ni chyfodasom yr allor yma fel newydd droseddiad: yr ydym yn addef yr un Duw a'r holl Hebreaid; a'r allor bres honno sydd o flaen y tabernacl, ar ba un yr offrymmwn ein haberthau. Ymherthynas i'r allor a gyfodasom ni, ar gyfrif pa un yr ydis fel hyn yn ei drwg-dybio, ni adeiladwyd hi i addoliad, ond i fod yn arwydd a cholofn o goffadwriaeth o'n perthynas â chwi yn wastadol; ac yn rhybudd angenrheidiol i ni i ymddwyn yn ddoeth, ac i barhau dan lywodraeth cyfreithiau ein gwlad; ond i beidio cyffwrdd â throseddiad o honynt fel yr ydych chwi yn dychymmygu. A bydded Duw yn dyst digonol i ni, mai dyma oedd achos ein gosodiad i fynu o'r allor hon. O herwydd pa ham yr ydym yn deisyf i chwi gynnwys gwell meddyliau am danom; ac na chyfrifwch y fath beth i ni ag a wnelai neb o had Abraham yn deilwng o golledigaeth, os anturiant ddwyn i mewn ddefodau newyddion, a'r fath a fo 'n wahanol i'n cyflawniadau arferol."

Wedi iddynt wneuthur yr attebiad hwn, Phineas a'u canmolodd o'i blegid, ac a ddaeth at Joshua, gan egluro o flaen y bobl pa fath atteb a dderbyniasai. Yna yr oedd Joshua yn llawen am nad oedd dan angenrheidrwydd i fyddino y bobl, a'u harwain i dywallt gwaed, ac i wneuthur rhyfel â'r bobl ag oedd o'u carennydd eu hunain, ac yn ganlynol efe a offrymmodd aberthau o ddiolchgarwch i Dduw am yr unrhyw; felly Joshua yn ol hynny a ollyngodd ymaith y dyrfa fawr o bobl ag oedd yn bresennol, gan eu hanfon i'w hetifeddiaethau eu hunain, tra'r oedd efe ei hun yn byw yn Shechem. Ond yr ugeinfed * flwyddyn yn ol hyn, pan oedd yn dra oedrannus, efe a anfonodd am y rhai o uchel swyddau yn yr amrywiol ddinasoedd, ac ar eraill mewn awdurdod, ynghyd â'r henuriaid; ac a gasglodd gynnifer ag a allai o'r bobl gyffredin: ac wedi iddynt ddyfod i'r un lle, efe a'u dododd mewn coffadwriaeth o'r holl fendithion a gawsent gan Dduw, y rhai ni allent amgen na bod yn lliosog, pan o gyflwr mor isel y dyrchafwyd hwy i sefyllfa o ddigonoldeb ac anrhydeddd; ac a'u hannogodd hwynt i gymmeryd sulw o fwriadau Duw, yr hyn a fuasai mor raslawn tu ag attynt; hefyd na fyddai'r Duwdod yn gyfaill parhaus iddynt drwy un modd ond drwy barhâd o'u duwioldeb tu ag atto ef: yr oedd yn perthyn iddo ef yn awr, pan ydoedd ynghylch ymadael a'r byd, i adael y fath dystiolaeth neu gyngor a hwn gyd â hwynt; gan ddeisyf arnynt ei gadw yn eu cof wedi ei ymadawiad ef ymaith.

Felly Joshua a fu farw mewn byrr amser yn ol yr ymddiddan yma â'r bobl, wedi iddo fyw gant a deg o flynyddoedd, † deugain o ba rai a dreuliodd efe gyd â Moses, mewn trefn i gael ei addysgu yn yr hyn a fyddai er ei fantais yn ol hynny. Efe hefyd a ddaeth yn llywydd i'r Israeliaid yn ol marwolaeth Moses ‡ dros bum mlynedd ar hugain. Yr ydoedd yn un nad oedd arno ddiffyg doethineb na dawn ymadrodd i osod allan ei feddyliau ger bron y bobl; ond a oedd yn rhagori ym mhob un. Yr ydoedd yn wr o galondid a mawrfrydigrwydd mewn ymladdfeydd a pheryglon; ac yn dra synwyrgall i lonyddu ac ymheddychu rhwng y bobl: hefyd yr oedd yn llawn rhinwedd dda ar bob amserau. Efe a gladdwyd yn ninas Timnath, berthynol i lwyth Ephraim. § Ynghylch yr un amser y bu farw Eleazar yr archoffeiriad; gan adael yr archoffeiriadaeth i'w fab Phineas: ei feddrod ef hefyd sydd yn ninas Gabatha.

* Bl. 1467. † Jos. xxiv. 29. ‡ O'r Fl. 1492, hyd y Fl. 1467.

§ Gan fod nid yn unig Procopius a Suidas, ond awdwr boreuach, sef Moses Corenensis. t. d. 52, 53, ac ysgatfydd oddiwrth ei ddechreuol awdwr Mariba Catina, un mor hyned ag Alecsander fawr, yn gosod i lawr ysgrifen hynod yn Tangier ymherthynas i'r hen Ganaaneaid, a yrrid allan gan Joshua; cymmerwch y peth yngeiriau 'r awdwr ei hun: "Alltudiaid ydym ni ag oedd yn llywodraethu 'r Canaaneaid; ond a yrrwyd allan gan Joshua 'r yspeilydd; ac a ddaethom i breswylio yma." Gwel y nod yno.. Ac nid yw yn anheilwng o'n sulw yr hyn y mae Moses Corenensis yn chwanegu; sef, darfod "I un o'r gwŷr enwog ym mysg y Canaaneaid ddyfod yr un pryd i Armenia, ac a sylfaenodd deulu neu lwyth y Genthuniaid; a chadarnhau hyn wrth ddull arferiad yr unrhyw deulu neu lwyth, drwy ei fod yn debyg i'r eiddo 'r Canaaneaid.

## PENNOD II.

*Am helyntion yr Israeliaid yn ol marwolaeth Joshua; eu troseddiad o Gyfreithiau eu Gwlad; a dinystr Llwyth Benjamin, oddigerth chwe chant o Wŷr.*

WEDI marwolaeth Joshua ac Eleazar, Phineas a brophwydodd * fod, drwy ewyllys Duw, i'r llywodraeth gael ei throsglwyddo i lwyth Judah, ac y byddai i'r llwyth hwn ddifetha hiliogaeth y Canaaneaid: am hynny fod yn perthyn i'r bobl wybod beth oedd ewyllys Duw. Hwy hefyd a gymmerasant yn gynnorthwy iddynt lwyth Simeon: ond ar yr ammodau hyn, mai pan ddarfyddid difetha y rhai a fuasent dan deyrnged i lwyth Judah, y cyfrennid yr un modd i lwyth Simeon. Ond yr ydoedd amgylchiadau 'r Canaaneaid y pryd hyn mewn modd blodeuog; ac yr oeddynt mewn disgwyl iad am fyddin o'r Israeliaid yn ninas Bezec, wedi rhoddi 'r llywodraeth yn nwylaw Adonibezec; canys Adoni yn yr iaith Hebraeg sydd yn arwyddo Arglwydd. Yn awr, yr oeddynt yn gobeithio bod yn rhy drech i'r Israeliaid, o herwydd marw Joshua: ond wedi i'r Israeliaid ymgyssylltu brwydr â hwynt, sef â'r ddau lwyth rhagddywededig, hwy a ymladdasant yn nerthol, ac a laddasant uwchlaw deng mil o honynt, ac a ddodasant y gweddill i ffoi; ac ar eu herlidiad hwy a gymmerasant Adonibezec; yr hwn wedi torri ymaith fysedd ei ddwylaw a'i draed, a ddywedodd, "Yn wir nis gallwn o hyd ymguddio rhag Duw, fel y profais oddiwrth yr hyn yr wyf yn awr yn ei ddioddef, pan na fu cywilydd arnaf wneud yr un peth â † deuddeg a thrugain o frenhinoedd." ‡ Felly hwy a'i dygasant ef ymaith yn fyw mor bell a Jerusalem; a phan fu farw, hwy a'i claddasant yn y ddaear, ac a aethant rhagddynt ym mlaen i gymmeryd y dinasoedd; ac wedi cymmeryd y rhan fwyaf o honynt, hwy a osodasant gynllwyn ar Jerusalem: ac wedi cymmeryd y rhan isaf o'r ddinas, ym mhen ychydig amser, hwy a laddasant yr holl breswylwyr. Ond y rhan uwchaf ni ellid ei gymmeryd ond drwy anhawsdra mawr, o herwydd cadernid ei muriau, a natur ei sefyllfa.

Am y rheswm yma hwy a symmudasant eu gwersyll i Hebron; a phan gymmerasant hi, hwy a ddifethasant yr holl drigolion. Yr ydoedd wedi eu gadael hyd yr amser hwnnw rai o hiliogaeth y cawri; § y rhai oedd a chyrph iddynt o'r fath faintioli, a'u hwynebpryd yn gwahaniaethu mor fawr oddiwrth ddynion eraill, a'u bod yn rhyfeddod i edrych arnynt, a'u llais yn ddychrynllyd i'w glywed. Esgyrn y dynion hyn sydd i gael eu gweled hyd heddyw; yn anghredadwy o ran eu maintioli i ddynion eraill. Yn awr, hwy a roisant y ddinas hon i'r Lefiaid, megis y gwobr neillduedig, gyd â'r

* Wrth brophwydo, pan ei crybwyllir am archoffeiriad, nid yw Josephus yn meddwl ychwaneg yma ac mewn mannau eraill, nag ymgynghori â Duw drwy Urim; yr hyn y mae'r darllenydd i ddal yn ei gof ar bob achosion. Ac os oedd St. Ioan, yr hwn ydoedd gyd-oeswr, ac o'r un wlad a Josephus, yn gwneud defnydd o'i ddull yn ymadroddi, pan ddywed, a Chaiaphas "yn archoffeiriad y flwyddyn honno, efe a brophwydodd y byddai'r Iesu farw dros y genedl; ac nid dros y genedl honno yn unig, eithr fel y casglai efe ynghyd yn un blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid." pen. xi. 51, 52. gall ysgatfydd fod yn meddwl, i hyn gael ei amlygu i'r archoffeiriad drwy lais anarferedig oddi rhwng y cerubiaid, pan oedd wedi ymwisgo â'i ddwyfronneg, neu Urim a Thummim am dano, o flaen neu yn y lle sancteiddiolaf o'r deml, yr hwn nid oedd ddim amgen nag oracl neu attebfa yr Urim a'r Thummim. Am yr hyn bethau uchod, gwel nod ar Hynaf. III. 8.

† Y nifer fawr yma o'r Reguli, neu frenhinoedd bychain, ar ba rai y gorthrwm-lywodraethodd Adonibezec, ac am ba achos y cospwyd ef yn ol y Lex Talionus; yn gystal a'r un ar ddeg ar hugain o frenhinoedd Canaan, a ddarostyngwyd gan Joshua, ac a enwir mewn un bennod, Jos. xii. a deuddeg ar hugain o frenhinoedd, neu gynnorthwywyr brenhinol i Benhadad, brenin Assyria, 1 Bren. xx. 1. Hynaf. VIII. 14. yn arwyddo i ni, pa fath ydoedd ffurf llywodraeth cenhedlaethau eraill, cyn i'r lywodraeth un-bennaeth teyrnas gael ei dechreuad; sef, Bod pob dinas neu dref fechan, ynghyd â'r pentrefi cymmydogaethol, yn llywodraeth wahanol wrthi ei hun. Yr hyn sydd fwy hynod, oblegid mai hon ydoedd ffurf y llywodraeth eglwysig a sefydlid gan yr apostolion, ac a gedwid drwy'r holl eglwysi Cristionogol yn oesoedd cyntaf Cristionogrwydd. Mr. Addison sydd o'r dyb, y byddai er lles dynolryw i fod i'r holl ymerodraethau a brenhiniaethau y byd gael eu parthu yn llywodraethau neu dywysogaethau bychain, fel, yn gyffelyb i gynnifer o deuluoedd lliosog, y byddent dan ofal a sulw eu priodol lywodraethwyr; fel ag y byddai gofal y tywysog yn cyrraedd at bob person neillduol dan ei amddiffyn; er ei fod yn anobeithio dyfod a'r fath drefn o amgylch, ac yn meddwl pe denai, y difethid hi ar fyrder. Sylwiadau ar Itali, t. 151. ac nid yw yn anghymmwys i sylwi, fod y coffadwriaethau Armeniaidd, er rhoddi o honynt i ni hanes am bedwar ar bymtheg a'r hugain o'u gorchestwyr neu lywodraethwyr hynafol, yn ol y diluw, cyn dyddiau Sardanapalus, nad oedd ganddynt un brenin pennodol hyd y 40fed Pararus. Gwel Moses Coronensis, t. d. 55, a'r nod yno. Ac nid yw'r Hollalluog Dduw yn foddlon i'r fath un-bennaeth anherfynol a gorthrymus, megis y gellir deall wrth ddarllen Deut. xvii. 14.---20. a'r 1 Sam. viii. 1.---22. xii. 1---25.---Er os gosodir y fath frenhinoedd i fynu, ag a'u haddefant ef yn oruchaf frenin, gan amcanu llywodraethu yn ol ei gyfreithiau ef, canniattaodd y swydd iddynt, ac a'u hymddiffynnodd hwynt, ynghyd â'u deiliaid ym mhob cenhedlaeth.

‡ Barn. i. 7.

§ Am yr hen gawri, eu gwahanol rywiau, maintioli, a gweddillion eu hesgyrn, Gwel Authent. Rec. Rhan I. t. d 260---293, a Rhan II. 872---933.

maesdrefi o faintioli dwy fil o gufyddau. Ond y tir perthynol iddynt a roddid megis anrheg i Caleb, yn ol gosodiadau Moses. Y Caleb yma ydoedd un o'r yspiwyr a anfonasai Moses i dir Canaan; hwy a roisant dir hefyd yn breswylfa i hiliogaeth Jethro, y Midianiad, yr hwn ydoedd dad-ynghyfraith Moses, canys hwy a adawsent eu gwlad eu hunain i ddilyn yr Israeliaid yn eu hymdaith drwy 'r anialwch. Yn awr, llwythau Judah a Simeon a gymmerasant y dinasoedd oedd ym mharthau mynyddig Canaan, ac hefyd Ascelon ac Asdod pa rai oedd yn gorwedd wrth y môr. Ond Gaza ac Ecron a ddiangasant, canys a hwy yngorwedd yn y gwastadtir, a chanddynt nifer fawr o gerbydau, a friwasant yn echryslon y rhai a ymosodasant arnynt. Felly y llwythau hyn wedi iddynt dyfu yn dra chyfoethog drwy y rhyfel hwn, a ddychwelasant i'w dinasoedd eu hunain, gan roddi o'r neilldu eu harfau rhyfel.

Ond y Benjaminiaid, i ba rai y perthynai Jerusalem, a addawsant i'w thrigolion dalu teyrnged; felly hwy a roddasant heibio,—y naill i ladd, a'r lleill i beryglu eu hunain; ac yn ol hyn hwy a gawsent hamdden i drin eu tiroedd. Y lleill o'r llwythau a ddilynasant y Benjaminiaid, ac a wnaethant yr un peth, a chan foddloni i'r deyrnged a dalasant iddynt, hwy a adawsant i'r Canaaneaid fyw yn heddychlon.

Pa fodd bynnag, llwyth Ephraim, wedi iddynt warchae ar Bethel, ni yrrasant ym mlaen, ac ni wnaethant ddim yn deilwng o'r amser a dreuliasant, ac o'r boen a gymmerasant ynghylch y cynllwyn. Etto hwy a barhausant wrthi, gan eistedd i lawr o flaen y ddinas, er dioddef eu blino yn fawr wrth hynny. Ond yn ol peth amser, hwy a ddaliasant un o'r dinasyddion a ddaethai attynt i geisio angenrheidiau; a hwy a roddasant sicrwydd iddo, os rhoddai efe i fynu y ddinas, yr arbedant ef a'i berthynasau. Felly efe a dyngodd ar yr ammodau hyn, y dodai efe 'r lle yn eu meddiant. Yn ganlynol efe a amddiffynwyd gyd a'i deulu, tra 'r oedd yr Israeliaid yn lladd yr holl drigolion eraill, ac a gadwasant y ddinas iddynt eu hunain.

Ar ol hyn, yr Israeliaid a dyfasant yn foethus ac yn ddiog i ymladd ymhellach yn erbyn eu gelynion; ond a gymmwysasant eu hunain at lafurio eu tiroedd; y rhai wedi dwyn cnydiau helaeth a chyfoethog, hwy a esgeulusasant ddilyn trefn reolaidd eu sefydliad, ac a fwynhasant eu hunain mewn gormodedd a phleserau. Ac nid oeddynt ymhellach yn gofalu gwrando ar y cyfreithiau perthynol i'w llywodraeth wladwriaethol. Ar ba achos yr annogasant Dduw i ddigio, a'u dodi mewn cof, yn gyntaf, pa mor wrthwyneb i'w gyfarwyddiadau ef yr arbedasant y Canaaneaid; ac yn ol hynny, fel yr oedd y Canaaneaid, megis y caent gyfleusdra, yn ymddwyn attynt hwy yn dra barbaraidd. Ond yr Israeliaid, er tristau o honynt wrth y rhybuddion yma gan Dduw, etto yr oeddynt yn dra hwyrfrydig i fyned drachefn i ryfel. Ac fel yr oeddynt yn derbyn teyrnged helaeth gan y Canaaneaid, ac yn anghymmwys i gymmeryd llafur arnynt ynghanol eu helaethrwydd, hwy a oddefasant i'w llywodraeth bendefigol gael ei llygru hefyd, ac ni threfnasant iddynt eu hunain senedd, nac unrhyw fath o swyddogion ag yr oedd eu cyfreithiau yn y dechreuad yn gofyn. Ond yr oeddynt wedi ymroddi yn fawr i drin eu meusydd, mewn trefn i ymgyfoethogi; yr hwn gyfnewidiad mawr yn eu tymmer a'u tueddrwydd, a ddug ymrysoniad ofnadwy arnynt; a hwy a aethant ym mlaen mor bell ag i ymladd y naill â'r llall, ar yr achos canlynol:

Yr * ydoedd rhyw Lefiad, † yr hwn oedd ddyn o deulu cyffredin, yn perthyn i lwyth Ephraim, ac yn byw yno. Y dyn hwn a briodasai wraig o Bethlehem, yr hwn sydd le perthynol i lwyth Judah. Yn awr, yr oedd efe yn dra hoff o'i wraig, ac wedi ei orchfygu gan ei glendid; ond ni chyfarfu a dychweliad serchiadau, canys yr ydoedd hi yn ymwrthod ag ef;

*Dodiad boreuol Josephus o'r hanes yma, cyn dechreuad y barnwyr, neu 'r pryd nad oedd un brenin yn Israel, Barn. xix. 1. a gadarnheir drwy y nifer mawr o Benjaminiaid yn nyddiau Asa a Jehosaphat; 2Cron. xiv. 8. a'r xvi. 17. y rhai etto a fyrhawyd yma i 600 o wŷr. Ac ni all y niferi hyn gael eu cyfrif oll yn gywir, os oeddynt wedi eu byrhau i'r nifer ddywededig mor ddiweddar a'r rhai olaf o'r barnwyr, lle y gosodwyd yr hanes yn ein copiau eraill, sef ein Biblau.

† Ynghylch Bl. 1460. c. c.

yr hyn a ennynodd ei serchiadau yn fwy tu ag atti. Felly yr oedd anghydfod gwastadol rhyngddynt; o'r diwedd y wraig ydoedd mor flin arni drwy 'r ymrafaelion hyn, ag y gadawodd ei gwr, ac a aeth ymaith at ei rhieni ym mhen y pedwar mis. Ond a'r gwr yn dra anesmwyth oblegid ei mynediad ymaith, a gymmerodd siwrnai at ei dad a'i fam-ynghyfraith, gan wneud i fynu 'r ymrafael, ac a arosodd gyd â hwynt bedwar o ddyddiau, a chael triniaeth garedig ganddynt.

Ar y pummed dydd efe a benderfynodd i ddychwelyd adref, ac a gychwynasant yn y prydnhawn; canys rhieni ei wraig oeddynt hwyrfrydig i ymadael â'u merch, ac oedi a wnaethant nes i'r dydd fyned heibio. Yr oedd ganddynt un gwasanaeth-ddyn yn eu canlyn, ac assyn, ar ba un y marchogai 'r wraig: a phan oeddynt yn agos i Jerusalem, wedi teithio eisoes ddeg * ar hugain o 'stadau, y gwasanaethwr a'u hannogodd hwynt yn rhyw le i gymmeryd eu lletty, rhag i ryw niweid eu gorddiwes os ymdeithient yn y nos, yn enwedig am nad oeddynt ym mhell oddiwrth elynion; a bod amser ammhrydlon yn fynych yn peri drwg-dybiau ym mysg rhai a gyfrifid yn gyfeillion. Ond nid oedd y gwr yn boddloni i'r cyngor hwn, ac nid oedd yn ewyllysgar i gymmeryd i fynu letty ym mhlith dieithriaid; canys y ddinas oedd yn perthyn i'r Canaaneaid: ond efe a ddymunodd yn hytrach fyned ugain o 'stadau ymhellach, ac felly cymmeryd i fynu eu lletty mewn rhyw ddinas Israelaidd. Yn ganlynol efe a ddaeth i Gibeah, dinas o lwyth Benjamin, gyd â'r tywyll-nos; a phan nad oedd neb a drigai yn y farchnadfa yn eu gwahodd i lettŷa gyd â hwynt; gwr oedrannus ag oedd yn dyfod o'r maes, pa un ydoedd yn wir o lwyth Ephraim, ond yn aros yn Gibeah, a ofynnodd i'r gwr pwy ydoedd? ac am ba reswm y daethai yno mor hwyr? a phaham yr oedd yn edrych o amgylch am luniaeth a hi yn dywyll? I'r hyn yr attebodd mai Lefiad oedd efe, yn dychwelyd gyd â'i wraig oddiwrth ymweled â'i rhieni, ac yn myned adref: ond a ddywedodd fod ei breswylfa yn llwyth Ephriam. Felly yr hen wr, yn gystal oblegid eu carenydd, ac o herwydd bod eu dyfodiad o'r un llwyth, ac hefyd o herwydd iddynt gyfarfod yn ddamweiniol y modd yma â'u gilydd, efe a'u cymmerodd i lettŷa gyd ag ef. Yn awr, rhyw ddynion ieuaingc, o drigolion Gibeah, wedi gweled y wraig yn y marchnadle, a chan ryfeddu wrth ei thegwch; pan ddeallasant ei bod yn llettŷa gyd â'r hen wr, a ddaethant at y drysau, megis i ddiystyru gwendid a bychanrwydd teulu y gwr oedrannus. Ac wedi deisyfu o'r hen wr arnynt fyned ymaith, a pheidio ag arfer dim trais neu wneuthur ammharch yno, parasant iddo roddi i fynu y ddynes ddieithr iddynt hwy, ac yna ni fyddai i ddim niweid gael ei wneuthur iddo ef. Ac wedi i'r hen wr daeru fod y Lefiad o'i garennydd ef; ac y byddent hwy yn euog o ddrygioni erchyll os goddefent iddynt eu hunain gael eu gorchfygu gan eu chwantau, a throseddu yn erbyn eu cyfreithiau: hwythau a ddirmygasant ei gynghorion pwyllog, ac a chwarddasant yn wawdlyd arno, gan fygwth ei ladd ef, os rhwystrai iddynt hwy gael eu chwnnychiad. Ar hynny wedi canfod ei hunan mewn perygl mawr, ac etto heb ewyllysio i'w lettywyr gael eu hamharchu, efe a ddygodd ei ferch ei hun attynt; gan ddywedyd ei fod yn † llai troseddiad o'r gyfraith i gyflawni eu chwant gyd â hi, na gwneud amharch i'r dieithriad; gan feddwl eu rhagflaenu wrth hyn rhag eu niweidio hwynt. Pan na ellid mewn un modd leihau eu taerineb i gael gafael yn y fenyw ddieithr, ond a benderfynasant y gorfyddai iddynt ei chael hi; yntau a erfyniodd arnynt na wnelent y fath weithred anghyfiawn; ond hwy a aethant ym mlaen i'w chymmeryd drwy drais: a chan gyflawni ymhellach drais eu tueddiadau, cymmerasant y wraig ymaith gyd â hwynt i'w tŷ; ac wedi ei hamharchu drwy oriau 'r nos, gadawsant iddi

* Y mae Reland yn ei waith a elwir Palestina, Llyfr II. t. d. 810, yn cael gwrthddywediad yn Josephus, ymherthynas i belldra Gibeah Saul, yn llwyth Benjamin, oddiwrth Jerusalem, 30 o 'stadau yma; ond Hanes y Rhyf. V. 2, ugain o 'stadau, a dim yn rhagor. Etto nid oes angenrheidrwydd gwneuthur i'r ddau le yma wrthwynebu y naill y llall. Yr 20 'stadau hyn yn unig oedd ganddynt i Gibeah, mae'n wir, ond nid o Jerusalem yr ydoedd, ond o'r lle yr oeddynt yn awr ynddo, yr hyn a allai yn hawdd fod wyth neu ddeg o 'stadau o Jerusalem ar y ffordd i Gibeah. Felly ni ymddengys yma ddim gwrthwynebiadau oll.

† Gwel Gen. xix, 8.

fyned ymaith ar dorriad y dydd. Felly hi a ddaeth at y lle y cawsai ymgeledd, dan flinder mawr o herwydd yr hyn a ddigwyddasai, heb allu edrych gan gywilydd yn wyneb ei gwr; canys hi a benderfynasai na faddeuai byth iddi oblegid yr hyn a wnaethid. Felly hi a syrthiodd i lawr ac a roddodd i fynu 'r yspryd: ond ei gwr a feddyliodd nad ydoedd ond yn unig mewn trymgwsg; ac heb feddwl fod dim o nattur mwy pwysig wedi digwydd iddi, efe a ymdrechodd i'w chyfodi i fynu; gan fwriadu llefaru yn dyner wrthi; gan nad oedd yn ewyllysgar wedi rhoi ei hun i fynu i nwydau y dynion hynny, ond a ddygasid drwy drais ganddynt i'w tŷ. Ond mor gynted ag y deallodd ei bod yn farw, efe a ymddygodd mor gall ag yr oedd canlyniadau yr anhap yn caniattau; ac a osododd y corph marw ar yr anifail i'w ddwyn adref. Yna, gan ei darnio aelod oddiwrth aelod yn ddeuddeg rhan, efe a ddanfonodd un i bob llwyth; gan roddi gorchymmyn ar fynegi o'r negeswyr i bob llwyth am y rhai a fuasai 'n achos o farwolaeth ei wraig, a'r trais a arferasant tu ag atti hi.

Ar hyn y bobl a derfysgwyd yn fawr wrth yr hyn a welsant ac a glywsant, megis heb gael siampl o'r fath beth o'r blaen. Felly hwy a ymgynnullasant ynghyd i Shiloh, o fawr ddigter; a chan grynhoi yn dyrfa fawr o flaen o tabernacl, hwy a ymroddasant yn uniongyrch i fyned dan arfau, ac i ymddwyn at drigolion Gibeah megis gelynion. Eithr y senedd neu'r henuriaid a'u lluddiasant i wneuthur felly; gan eu cynghori na ddylent mor fyrbwyll fyned i ryfel â phobl o'r un genedl a hwy eu hunain, cyn ymddiddan â hwynt â rhesymmau, ymherthynas i'r cyhuddiad a osodid i'w herbyn. Gan mai * rhan o'u cyfraith ydoedd, na anfonent fyddin yn erbyn dieithriaid eu hunain, pan ymddangosent wneuthur o honynt niweid iddynt, heb anfon attynt gennadwyr yn gyntaf, a'u profi y ffordd honno pa un a fyddant yn edifarhau neu beidio: ac yn ganlynol hwy a'u perswadiasant i wneuthur a ddylent mewn ufudd-dod i'w cyfreithiau; hynny yw, danfon cennadwri at breswylwyr Gibeah, i wybod pa un a roddent i fynu y troseddwyr; ac os gwnaent felly, i orphwys o honynt yn foddlon ar gospedigaeth y troseddwyr; ond os dirmygant y gennadwri a ddanfonid attynt, bod iddynt eu cospi hwy drwy gymmeryd i fynu arfau yn eu herbyn. Yn ganlynol hwy a ddanfonasant at drigolion Gibeah, gan gyhuddo 'r ieuengctid o'u drygionus ymddygiad ymherthynas i wraig y Lefiad; gan ofyn ganddynt y rhai a wnaethant yn wrthwyneb i'r gyfraith, fel y cospid hwynt; megis rhai ag oedd yn cyfiawn † haeddu marwolaeth am yr hyn a wnaethant. Ond ni roddai trigolion Gibeah i fynu y gwŷr ieuaingc; gan ei ystyried yn rhy waradwyddus iddynt, rhag ofn rhyfel, i ymostwng i arch neu orchymmyn neb; a chan ymffrostio nad oeddynt yn waelach neu anfedrusach nag eraill mewn rhyfel; neu chwaith yn anamlach o nifer, nac mewn diffyg o gefnogrwydd. Eraill o'u llwyth gyd â hwynt a wnaethant barodrwydd mawr i ryfel, oblegid yr oeddynt wedi eu meddiannu, i'r fath gynddeiriogrwydd hefyd fel yr ymroisant lu yn erbyn llu i'w gwrthwynebu.

Pan fynegwyd i'r Israeliaid yr hyn ag oedd gwŷr Gibeah yn ei benderfynu arno, aethant i'w llw na roddai neb o honynt ei ferch yn briod i Benjaminiad; ond y byddai i ryfel gael ei wneuthur gyd â mwy o ffyrnigrwydd yn eu herbyn nag a wnaethai eu tadau yn erbyn y Canaaneaid. Yn ganlynol hwy a anfonasant allan fyddin o bedwar can mil yn eu herbyn; pan ydoedd nifer byddin y Benjaminiaid yn ‡ bum' mil ar hugain a chwe chant; pum cant o ba rai ydoedd dra medrus i ergydio yn llawchwith â ffyn-tafl. Pan gyssylltwyd y frwydr yn Gibeah, y Benjaminiaid a gurasant yr Israeliaid, ac o honynt y syrthiodd dwy fil ar hugain o wŷr; ac ysgatfydd y lladdesid mwy o honynt pe na ddaethai y nos ymlaen, a therfynu yr ymladdfa. Felly y Benjaminiaid a ddychwelasant i'r ddinas gyd â llawenydd, a'r Israeliaid a ddychwelasant i'w gwersyll gyd â thristwch mawr o herwydd yr hyn a ddigwyddasai. Ar y dydd nesaf, wedi iddynt ymladd drachefn, y Benjaminiaid a ynillodd, a dennaw mil o'r

* Gwel IV. 8. a Deut. xx. 10.

† Deut. xxii. 25. ‡ Barn. xx. 46, 47.

Israeliaid a laddwyd, a'r lleill a ffoisant ymaith o'r gwersyll rhag ofn ychwaneg o ddinystr. Felly hwy a ddaethant i Bethel,* dinas ag oedd gerllaw y gwersyll, ac a ymprydiasant † ar y dydd nesaf, ac a ymbiliasant â Duw drwy Phineas yr archoffeiriad, ar fod ei ddigllonrwydd yn eu herbyn gael ei lonyddu; a bod iddo foddloni ar y ddau oresgyniad hwn a gawsant, a rhoddi iddynt fuddugoliaeth ar y gelynion. Yn ganlynol Duw a addawodd wrthynt, drwy brophwydoliaeth Phineas, i wneuthur felly.

Wedi iddynt yn ol hynny ysgar y fyddin yn ddwy ran, gosodasant un rhan o honynt mewn cynllwyn o amgylch dinas Gibeah liw nos, tra'r oedd y rhan arall yn ymosod yn erbyn y Benjaminiaid: wedi cilio o'r rhai hyn yn ol pan wnaethant yr ymosodiad cyntaf, erlidiwyd hwy gan y Benjaminiaid; tra'r oedd yr Hebreaid yn encilio yn raddol, megis â dymuniad i'w tynnu yn hollol oddiwrth y ddinas, a'r lleill yn canlyn megis yr oeddynt yn cilio oddi wrthynt, nes i'r hen wŷr a'r ieuaingc ag oedd analluog i ymladd, ddyfod dan gyd redeg allan, ag ewyllys ganddynt i weled dinystrio eu gelynion. Pa fodd bynnag, wedi dyfod ffordd bell oddiwrth y ddinas, yr Hebreaid a droisant yn eu hol i ymladd â hwynt, ac a roddasant yr arwydd rhagammodol i'r rhai a arhosent mewn cynllwyn, y rhai yn ddisymmwth a gyfodasant, a chyd â chynnwrf mawr a syrthiasant ar warthaf eu gelynion. Yn awr, cyn gynted ag y gwelsant eu hunain wedi cael eu twyllo, nis gwyddent pa beth i'w wneuthur; ac wedi eu gyrru i ryw wagle ag ydoedd mewn dyffryn, ergydiwyd attynt gan y rhai a'u hamgylchynodd, nes eu difetha oll, oddigerth chwe chant; y rhai a ffurfiasant eu hunain yn gorph cryno, ac a ruthrasant drwy ganol eu gelynion, gan ffoi i'r mynyddoedd cymmydogaethol: ond y rhan arall o honynt ag ydoedd ynghylch pum' mil ar hugain a laddwyd. Yna'r Israeliaid a losgasant Gibeah, gan ladd y menywaid a'r gwrrywaid ydoedd dan oedran. Gwnaethant yr un modd hefyd â dinasoedd eraill y Benjaminiaid. Ac yn wir yr oeddynt wedi cynddeiriogi i'r fath radd, a darfod iddynt anfon deuddeng mil o wŷr allan o'u byddin, a rhoi gorchymmyn iddynt ddifetha Jabes Gilead, o herwydd na chyd unasant â hwynt i ymladd yn erbyn y Benjaminiaid. Yn ganlynol y rhai a ddanfonwyd a laddasant y gwŷr o ryfel, gyd a'u plant a'u gwragedd, oddigerth pedwar cant o forwynion. I'r cyfryw radd yr oeddynt wedi myned ym mlaen yn eu digter, o herwydd fod ganddynt, nid yn unig farwolaeth gwraig y Lefiad i'w ddial, ond hefyd lladdfa eu milwyr eu hunain.

Pa fodd bynnag, darfu iddynt yn ol hynny edifarhau am y galanastra a wnaethant ar y Benjaminiaid, ac a appwyntiasant ympryd ar y cyfrif hwnnw; er tybied o honynt i'r dynion yr un pryd ddioddef yn gyfiawn am eu troseddiad yn erbyn y cyfreithiau. Felly hwy a roddasant alwad drwy gennadau i'r chwe' chant a ddiangasant i ddychwelyd. Y rhai hyn a orphwysasant eu hunain mewn craig a elwid Rimmon yn yr anialwch. Felly y cennadau a alarasant wrthynt, nid yn unig oblegid y distryw a ddaethai ar y Benjaminiaid, ond arnynt eu hunain hefyd, drwy y dinystriad yma o'u carennydd: a hwy a'i perswadiasant i'w gymmeryd yn amyneddgar, a dyfod i ymuno drachefn â hwy; a pheidio, mor bell ag a allent, roddi lle i bleidgarwch er hollol ddistrywiad llwyth Benjamin; gan ddywedyd ymhellach wrthynt, "Yr ydym yn rhoddi cennad i chwi i gymmeryd holl dir Benjamin i'ch meddiant eich hunain; a chymmaint o ysglyfaeth ag a alloch ddwyn ymaith gyd â chwi." Felly y dynion hyn a gyffesasant fod yr hyn a wnaethid yn ol gorchymmyn Duw, a'i ddigwydd iddynt oblegid eu drygioni; a hwy a gydsyniasant â'u gwahoddwyr, ac a ddaethant i wared at eu llwyth eu hunain. Yr Israeliaid hefyd a roddasant iddynt y pedwar cant o forwynion Jabes Gilead ‡ yn wragedd. Ond

* Y mae Josephus yn ymddangos yma megis mewn ychydig o gamsyniad, pan gymmerodd y gair Hebraeg Beth-El, ag sy'n arwyddo Tŷ-Dduw, neu 'r tabernacl, Barn. xx. 18. am enw priodol lle a elwid Bethel. Nid yw mewn un modd yn ymddangos fod y tabernacl erioed yn Bethel. Yn unig mor bell a hynny mae 'n wir, i fod Shiloh, y lle ag oedd â'r tabernacl ynddo yn nyddiau 'r Barnwyr, heb fod neppell oddiwrth Bethel.

† Gwelwch yr hanes yma wedi ei nodi yn Josephus megis un o'r diwygiadau mwyaf angenrheidiol a phwysig ag ynac ei deml-'sgrifeniadau yn ei draddodi i ni, yn wahanol oddiwrth bob 'sgrifeniadau neu gopiau eraill. Cyflawniad Llyth. y Proph. Chwan. t. d. 75, 76, 77.

‡ Barn. xxi. 14.

am y ddau cant a weddilliasid, ystyriasant pa fodd y trefnent wragedd iddynt hwy. Ac fel y darfuasant cyn y rhyfel fyned i'w llw, na fyddai i neb o honynt roddi ei ferch yn wraig i Benjaminiad; rhai a'n cyngorasant i beidio gwneuthur sulw o'r hyn a dyngasant, o herwydd na chymmerasid y llw gyd â phwyll ac ystyriaeth, ond mewn byrbwylldra; ac a dybiasant na throseddent yn erbyn Duw os gallent achub llwyth cyfan o bobl ag oedd mewn perygl o'i ddiddymmu; a bod llw anudon yn unig yn feius a pheryglus, nid pan ei gwnelid o angenrheidrwydd, ond gyd â diben drygionus. Ond wedi dychrynu o'r senedd wrth yr enw anudon, rhyw wr a ddywedodd wrthynt y medrai efe ddangos ffordd drwy 'r hon y gallent gael gwragedd i'r Benjaminiaid, a chadw eu llw hefyd. Ac wedi ymholi ag ef ymhellach am ei feddyliau, efe a ddywedodd, "Tair gwaith yn y flwyddyn, pan gytarfyddom yn Shiloh, y mae ein gwragedd a'n merched yn dyfod gyd â ni. Caniattaer i'r Benjaminiaid yr amserau hynny ddwyn ymaith a phriodi y fath fenywaid ag a ddel i'w gafael; pan na fydd i ni eu hannog na 'u gwahardd hwynt. A phan anfoddlono rhai o'n rhieni, a dymuno arnom osod cospedigaeth arnynt, dywedwn iddynt mai hwynt-hwy eu hunain oedd yr achos o'r peth a ddigwyddasai, drwy esgeulusogwyliadwriaeth dros eu merched; ac na ddylent ddiglloni yn ormodol wrth y Benjaminiaid, gan i'r cyfryw ddigder gael ei adael i chwyddo yn ormodol eisoes." Felly 'r Israeliaid a berswadiwyd i ddilyn y cyngor yma; ac a roisant orchymmyn allan, fod i'r Benjaminiaid gael eu caniattad y modd hwn i ladratta iddynt eu hunain wragedd. Felly wedi dyfod yr ŵyl, y ddeucant hyn o Benjaminiaid a ymosodasant mewn cynllwyn, o fesur dau neu dri ynghyd, o flaen y ddinas, i ddisgwyl yn y gwinllanoedd am ddyfodiad y llangcesau, mewn modd dirgel. Yn ganlynol y llangcesau a ddaethant ym mlaen dan chwareu, heb ddeall dim am yr hyn a'u goddiweddai, gan rodianna rhagddynt yn ddiofal ac â dull anwyliadwrus. Felly y rhai a ymguddiasant o amgylch y ffordd a gyfodasant, ac a ymafaelasant ynddynt. Drwy 'r moddion yma y cafodd y Benjaminiaid wragedd, ac a aethant ynghyd â llafurio eu tir, gan ymdrechu i gyrraedd eu sefyllfa o ddedwyddwch o'r blaen. Ac fel hyn y darfu i'r llwyth yma, wedi bod mewn perygl o'u diddymmu, gael eu hachub drwy ddoethineb yr Israeliaid. Ac yn ganlynol hwy a flodeuasant, ac ar fyrr a gynnyddasant yn lliaws, gan ddyfod i fwynhau eu graddau eraill o happusrwydd. A'r fath ydoedd diweddiad y rhyfel hwn.

## PENNOD III.

*Am y trallodion a oddiweddodd yr Israeliaid drwy eu hesmwythder a'u hesgeulusdra; eu gorthrymder gan yr Assyriaid, a'u gwaredigaeth ganlynol drwy Othniel, yr hwn a lywodraethodd drostynt ddeugain mlynedd.*

YN awr, fe ddigwyddodd* i lwyth Dan gael ei gystuddio yn gyffelyb i lwyth Benjamin, ar yr achos canlynol: Wedi i'r Israeliaid eisoes roddi heibio ymarfer eu hunain i arfau rhyfel, ond a oeddynt a'u gogwydd ar hwsmonaeth, y Canaaneaid a'u diystyrasant, ac a gasglasant fyddiu ynghyd; nid o herwydd eu bod yn disgwyl cael eu haflonyddu ganddynt, ond gyd â golwg i wneuthur triniaeth chwerw i'r Hebreaid, pan alluogid hwy i hynny: ac y gallent wrth hynny, dros yr amser i ddyfod, aros yn eu dinasoedd eu hunain yn fwy diangol. Gan hynny, parottoisant eu cerbydau, ac a gynnullasant eu milwyr ynghyd. Eu dinasoedd a gydunasant, ac a ynnillasant attynt Ascelon ac Ecron, y rhai oeddynt o fewn llwyth Judah, a llawer yn rhagor o'r rhai oedd yn aros yn y gwastadedd. Hwy a yrrasant y Daniaid hefyd i ffoi i'r wlad fynyddig, heb adael iddynt o'r gwastadtir gymmaint a lle i roddi eu troed i lawr. Gan nad oedd y Daniaid hynny yn abl i ymladd â hwynt, ac nad oedd ganddynt dir ddigon at eu cynnal, danfonasant bump o'u gwŷr i'r wlad ganol, i edrych am le i ba un y gallent symmud eu trigfa. Felly y gwŷr hyn a aethant mor bell a chymmydogaeth mynydd Libanus, a ffynhonnau yr Iorddonen leiaf, yngwastadedd mawr

* Ynghylch Bl. 1455. c. c.

Sidon, ynghylch taith diwrnod o'r ddinas. Ac wedi iddynt gael golwg ar y tir, a'i gael yn dra ffrwythlon, gwnaethant eu llwyth yn hyspys o hono. Ar hynny cychwynasant a daethant yno gyd â'u llu, ac a adeiladasant ddinas yno ar enw Dan, mab Jacob, ac enwad eu llwyth eu hunain.

Yr Israeliaid yn awr a aethant mor ddifraw a segurllyd, * fel y daeth gofidiau trymmach arnynt; yr hyn hefyd a darddodd mewn rhan oddiwrth eu dirmyg ar addoliad dwyfol. Canys pan unwaith y syrthiasant ymaith oddiwrth reolaeth eu llywodraeth ddinasaidd, boddhasant eu hunain ymhellach â bywiolaethau yn ol eu hewyllysiau eu hunain, nes eu bod yn llawn o ddrwg-arferion ag oedd yn gyffredin ym mysg y Canaaneaid. Duw gan hynny oedd yn ddigllon wrthynt, a hwy a fforffetiasant drwy eu gormodedd, y cyflwr dedwydd a gyrraeddasant iddo drwy lafur annhraethadwy. Canys wedi i Chushan, brenin yr Assyriaid, wneuthur rhyfel yn eu herbyn, llawer o'u gwŷr a syrthiasant mewn brwydr; ac wedi gwarchae arnynt, hwy a gymmerwyd drwy drais. Ië, yr ydoedd rhai drwy ofn yn ewyllysgar i ymostwng iddo: ac er bod y deyrnged a osodid arnynt yn fwy nag a allant ei gynnal, etto hwy a'i talasant, ac a aethant dan bob math o orthrymder am † wyth mlynedd. Yn ol pa amser hwy a waredwyd yn y drefn ganlynol.

Yr ydoedd un a'i enw Othniel, ‡ mab Cenaz, o lwyth Judah, gwr gweithredgar ac o galondid mawr. Efe a gafodd rybudd oddiwrth Dduw i beidio bod yn ddi-ystyr o'r Israeliaid yn y fath gyfyngder ag oeddynt dano yn bresennol; ond i ymdrechu yn wrol i ail-ynnill eu rhyddid. Felly wedi iddo gael rhai i'w gynnorthwyo yn yr antur beryglus hon, (ac ychydig oeddynt, un ai drwy gywilydd o'u hamgylchiadau presennol, ai oddiwrth ddymuniad i'w cyfnewid, a ellid eu perswadio i fod yn gynnorthwywyr iddo:) efe yn gyntaf a ddinystriodd wersyllfa ag oedd Chushan wedi ei osod i'w herbyn. A phan ganfuwyd na fethodd yn ei ymgais ar y tarawiad cyntaf hwn, y bobl a chwanegasant ddyfod yn gynnorthwy iddo: felly hwy a ymgyssylltasant mewn brwydr â'r Assyriaid, ac a'u gyrrasant i ffoi ymaith o'u blaen, a gwnaethant iddynt fyned dros afon Euphrates. Ar hyn Othniel, yr hwn a ddangosodd y fath brawf o'i wrolder, a dderbyniodd gan y lliaws awdurdod i farnu 'r bobl. Ac wedi llywodraethu arnynt § ddeugain mlynedd, efe a fu farw.

## PENNOD IV.

*Am ddarostyngiad yr Hebreaid gan y Moabiaid, a'u gwaredigaeth o gaethiwed drwy Ehwd, yr hwn a gadwodd y llywodraeth yn ei feddiant bedwar ugain mlynedd.*

PAN fu farw Othniel, matterion yr Israeliaid a gwympasant drachefn i annhrefn; a phan nad oeddynt yn talu yr anrhydedd dyledus i Dduw, nac yn ufuddhau i'r cyfreithiau, cynnyddu a wnaeth eu trallodion, nes i Eglon, ‖ brenin y Moabiaid, gymmeryd mantais oddiwrth anhrefn eu llywodraeth, i wneud rhyfel arnynt hwy, a'u gorchfygu mewn amryw frwydrau, a pheri i'r rhai cefnoccaf ymostwng iddo; gan drechu yn llwyr eu byddinoedd, a gosod yr Israeliaid dan deyrnged. Ac wedi adeiladu iddo dŷ brenhinol yn Jericho, ¶ ni adawodd un ffordd heb ei defnyddio i'w trallodi hwynt, ac yn wir a'u darostyngodd i dlodi am ** ddeunaw mlynedd. Ond wedi i Dduw gymmeryd tosturi drachefn ar yr Israeliaid o herwydd eu cyfyngderau, ac a gymmellid i drugarhau wrthynt drwy eu hymbiliau, efe a'u rhyddhaodd oddiwrth y driniaeth galed a gyfarfuant â hi dan y Moabiaid. A'r rhyddid yma a ddygwyd o amgylch iddynt yn y modd a ganlyn.

Yr ydoedd gwr ieuangc o lwyth Benjamin, enw pa un oedd Ehwd, mab Gera; hwn ydoedd

* Bl. 1449. † O 1449 hyd 1441 c. c.
‡ Barn. iii. 9. § O'r Fl. 1441 hyd 1401. ‖ Barn. iii. 12.
¶ Fe ymddengys oddiwrth yr hanes gyssegredig, Barn. i. 15. iii. 13. fod pabell neu frenhindy Eglon, yn ninas y Palmwydd, megis y galwyd y lle yr oedd Jericho yn sefyll ynddo cyn ei dinystr, gan Joshua: hynny yw, yn-neu ger llaw y ddinas ddinystriol. Yn ganlynol Josephus a ddywed ei fod yn Jericho; neu yn hytrach yngwlad hyfryd y palmwydd, ar neu gerllaw yr un darn o dir ag yr oedd Jericho gynt yn sefyll, ac ar ba un yn ganlynol yr adeiladwyd hi gan Hiel. 1 Bren. xvi. 34. Ein copiau eraill, ag sydd yn gochelyd ei henw priodol Jericho, ac yn ei galw dinas y palmwydd, ydynt yn llefaru gyd â mwy o gywreinrwydd yma na Josephus. ** O'r Fl. 1401 hyd 1383.

wrol ac o hyfdra mawr mewn anturiaethau, ac o gorpholaeth tra grymmus; hefyd yn alluog i fyned drwy lafur blinderus: ond ei fedrusrwydd yn bennaf ydoedd mewn ymarferiad o'i law chwith,* ym mha un y cynnwysid ei holl rym; ac efe hefyd a drigai yn Jericho. Yn awr, y dyn hwn a ddaeth yn adnabyddus i Eglon, a hynny drwy anrhegion, â pha rai yr ynnillodd ei ffafr, a thrwy weniaith, ei dŷb dda am dano; drwy 'r hyn hefyd yr hoffwyd ef gan y rhai a amgylchynent y brenin. Yn awr pan, ar ryw amser, yr ydoedd yn dwyn anrhegion i'r brenin, a chyd ag ef ddau wasanaeth-ddyn, efe a osododd gleddyf yn ddirgel ar ei glun ddehau, ac a aeth atto ef. Yr ydoedd y pryd hwnnw yn amser haf, a thu a chanol y dydd, pan oedd y milwyr heb fod yn fanwl ar eu gwyliadwriaeth, o herwydd y gwres, a'u bod wedi myned i'w ciniaw. Felly y gwr ieuangc wedi cyflwyno ei anrhegion i'r brenin, yr hwn oedd y pryd hwnnw mewn haf-dy bychan, cyfleus i ochelyd y gwres, a gwympodd mewn ymddiddan ag ef: canys yr oeddynt yn awr yn unig heb ond eu deuoedd, gan i'r brenin orchymmyn i'w wasanaethwyr ei adael, oblegid fod ganddo ewyllys i ymddiddan ag Ehwd. Yr ydoedd yn awr yn eistedd yn ei deyrngadair, ac ofn a ddaeth ar Ehwd rhag methu o hono ei ergyd, a rhoddi clwyf marwol iddo. Felly efe a gyfododd ar ei draed, ac a ddywedodd fod ganddo freuddwyd i'w adrodd iddo wrth orchymmyn Duw. Ar hyn y brenin a lammodd o'i orsedd, gan lawenydd cael clywed y breuddwyd; felly Ehwd a'i brathodd hyd at y galon, a chan adael y cleddyf yn ei gorph, efe a aeth allan, ac a gauodd y drws ar ei ol. Yn awr, y gwasanaeth-ddynion oeddynt ddistaw, ac yn tybied fod y brenin yn ei esmwythder, ac yn cysgu.

Ar hyn Ehwd a hyspysodd yn ddirgel i bobl Jericho yr hyn a wnaethai efe; ac a'u cymmellodd i ymdrechu i adferyd eu rhyddid. Gwrandawsant arno yn llawen, gan fyned dan eu harfau, a danfon cennadau dros y wlad yn canu mewn udgyrn† o gyrn hyrddod; canys eu harfer ydoedd galw y bobl ynghyd â'r offerynnau hyn. Yn awr, gwasanaethwyr Eglon ydoedd yn anneallus o'r anhap echryslon a ddigwyddasai iddo dros amser hir. Ond tu a'r hwyr-ddydd, a hwy yn ofni fod rhyw ddamwain anghyffredin wedi digwydd, torrasant i mewn i'w ystafell; ac wedi ei gael yn farw yr oeddynt mewn syndod mawr, ac heb wybod pa beth i'w wneuthur. A chyn cael y milwyr ynghyd, lluoedd o'r Israeliaid a ddaethant ar eu gwarthaf. Felly rhai o honynt a laddwyd yn ddisymmwth, ac eraill a aethant ar ffo, a'u rhedegfa tu a gwlad Moab, mewn trefn i achub eu hunain. Eu nifer ydoedd uwchlaw deng mil. Yr Israeliaid a oresgynasant rydiau'r Iorddonen, gan eu herlid a'u lladd hwynt, gan mwyaf wrth y rhydiau, ac ni ddiangodd un o honynt o'u dwylaw. A thrwy 'r moddion hyn y bu i'r Hebreaid ryddhau eu hunain o gaethiwed dan y Moabiaid. Ehwd hefyd ar y cyfrif yma a dderchafwyd i lywodraethu ar yr holl liaws; ac a fu farw yn ol cynnal y llywodraeth‡ 80 o flynyddau. Yr ydoedd yn wr o gymmeradwyaeth teilwng, ïe, heblaw yr hyn a haeddodd ar gyfrif y weithred rag-grybwylledig. Ac ar ei ol ef Shamgar,§ fab Anath, a etholwyd yn llywodraethwr; ond efe a fu farw yn y flwyddyn gyntaf o'i lywodraethiad.

## PENNOD V.

*Am orthrymiad yr Hebreaid gan y Canaaneaid dros ugain mlynedd, a'u rhyddhad drwy Barac a Deborah, y rhai a lywodraethasant arnynt dros ddeugain mlynedd.*

AC yn awr yr ydoedd ‖ ddarfod i'r Israeliaid, heb gymmeryd dim rhybudd oddiwrth eu blinderau o'r blaen i ddiwygio eu moesau, heb

* Barn. iii. 15. † Barn. iii. 27.

‡ Y 80 mlynedd yma am lywodraeth Ehwd, ydynt angenrhaid i gyfrifiad helaeth arferol Josephus, rhwng yr Exodus ac adeiladaeth y deml, o 592 hyd 612 o flynyddau; ond nid i'r rhifedi lleiaf o 480 mlynedd. 1 Bren. vi. 1. yr hwn nifer lleiaf y mae Josephus yn ymddangos weithiau yn ei ddilyn. A phan yn nechreu'r bennod ganlynol y dywedir gan Josephus, nad oedd yr Israeliaid ond yn brin wedi cael eu hanadl, cyn i Jabin gyfodi i'w caethiwo hwynt. Mae yn dra thebygol fod rhai o'r copiau yn ei amser ef ag ynddynt yma 8 mlynedd yn unig, yn lle 80. Megis ag y gwelid yng ngwaith Theophilus o Antioch, Ad. Autoyle. I. III. a hyn mae'n debygol oddiwrth ei gopi o Josephus.

§ Barn. iii. 31. ‖ Bl. 1375.

iawn arfer addewid Duw, nac ymostwng i'r cyfreithiau, gael eu dwyn i gaethiwed dan Jabin brenin y Canaaneaid,* a hynny cyn iddynt gael ond ychydig anadl, ar ol eu caethiwed gan y Moabiaid. Canys y Jabin yma a ddaeth allan o Hazor, dinas ag oedd a'i sefyllfa ar gyfer y llynn Semechonitis; ac yr oedd ganddo dan dâl dri chan' mil o wŷr traed yn arfog, a deng mil o farchogion; ac heb ddim llai na thair mil o gerbydau. Sisera ydoedd flaenor ar ei holl lu, ac oedd y gwr pennaf yn ffafr y brenin. Efe a arferai y fath greulondeb tu ag at Israel wedi eu gorchfygu hwynt, ag a'u cymmellodd i dalu teyrnged i'r brenin.

Felly y parhausant dan y caledfyd hwnnw dros ugain † mlynedd, megis heb ddigon o ddaioni ynddynt o honynt eu hunain, i dyfu yn ddoeth drwy eu trallodion. Yr oedd Duw yn ewyllysio hefyd wrth hyn ddarostwng rhagor ar eu cyndynrwydd a'u hanniolchgarwch tu ag atto ei hun. Felly o'r diwedd wedi dyfod yn edifeiriol, ac mor ddoeth a deall fod eu trallodion yn tarddu oddiwrth eu dirmyg o'r cyfreithiau, deisyfiasant ar Deborah, yr hon oedd brophwydes, (enw pa un yn Hebraeg sydd yn arwyddo Gwenynen,) i weddio ar Dduw am gymmeryd tosturi arnynt, a pheidio a'u hanghofio, a hwy yn awr wedi eu hanrheithio gan y Canaaneaid. Felly Duw a ganiattaodd waredigaeth iddynt; ac a ddewisodd Barac yn llywydd, yr hwn ydoedd o lwyth Naphthali; ac enw pa un yn Hebraeg sydd yn arwyddo Mellten.

Felly Deborah a anfonodd am Barac, gan erchi iddo ddewis deng mil o wŷr ieuaingc i fyned yn erbyd y gelynion; o herwydd i Dduw ddywedyd fod y nifer hynny yn ddigonol, ac addaw o hono iddynt y fuddugoliaeth. Ond wedi i Barac ddywedyd na fyddai efe yn flaenor, oddi eithr iddi hi hefyd flaenori gyd ag ef; hi a anfoddlonodd i'w ymadrodd, ac a ddywedodd, "Tydi, O Barac, yn ddianrhydeddus, wyt yn rhoddi i fynu'r awdurdod a roddasai Duw i ti, i ddwylaw gwraig; ac nid wyf yn ei wrthod." Felly hwy a gasglasant ddeng mil o wŷr, ac a wersyllasant ym mynydd Tabor, ym mha le, wrth orchymmyn y brenin, y darfu i Sisera eu cyfarfod hwynt, ac a wersyllodd heb fod neppell oddiwrth y gelyn. Ar hynny yr Israeliaid, a Barac ei hun, a ddychrynwyd gymmaint wrth liosowgrwydd y gelynion, fel yr ymroisant i gilio ymaith, oni buasai i Deborah eu hattal hwynt, a'u gorchymmyn i ymladd â'r gelyn y dydd hwnnw, oblegid y gorfyddent hwynt, ac y byddai Duw yn gymmorth iddynt.

Felly y frwydr a ddechreuodd; a phan ddaethant i agosrwydd ymladdfa, disgynnodd tymmestl fawr o'r nefoedd, gyd â mesur aneirif o wlaw a chenllysg; a'r gwynt a chwythodd y gwlaw yn wyneban y Canaaneaid, ac a ddallodd eu llygaid gymmaint, fel nad oedd eu saethau a'u ffyn tafl o ddim defnydd iddynt. Ac ni ddioddefai oerder yr awelon i'r milwyr ddal i fynu a defnyddio eu cleddyfau. Y dymmestl hon, pa fodd bynnag, ni fu o gymmaint anghyfleusdra i'r Israeliaid, o herwydd ei bod yn eu cefnau. Cymmerasant hefyd y fath gefnogrwydd drwy amgyffred fod Duw yn eu cynnorthwyo, ac y rhuthrasant i ganol y gelynion, ac a laddasant liaws mawr o honynt. Felly rhai a syrthiasant drwy yr Israeliaid; rhai dan draed eu meirch eu hunain, mewn annhrefn; ac nid ychydig a laddwyd gan eu cerbydau eu hunain. O'r diwedd Sisera, mor gynted ag y canfu ei hun wedi cael y gwaethaf, a ffodd ymaith, ac a ddaeth at wraig, enw yr hon ydoedd Jäel, o deulu y Ceneaid, yr hon a'i derbyniodd i'w thŷ, ar ei ddeisyfiad o gael ymguddio yno; ac wedi gofyn am beth i'w yfed, hi a'i diododd â llaeth sur, o ba un yr yfodd mor helaeth, nes syrthio o hono i gysgu. Ond ag efe yn ei drymgwsg, Jäel a gymmerodd hoel haiarn, ac a'i gyrrodd â morthwyl drwy ei arleisiau i'r llawr. Ac wedi i Barac ym mhen ychydig ddyfod heibio, hi a ddangosodd iddo Sisera wedi ei hoelio wrth y llawr. ‡ Ac fel hyn y gorphenwyd cael y fuddugoliaeth drwy wraig, megis y rhagddywedasai Deborah. Barac hefyd a ymladdodd â Jabin, yn Hazor, ac wrth ei gyfarfod a'i lladdodd ef. Ac wedi cwympo y pen-

* Barn. iv. 2. † O'r Fl. 1374 hyd 1354.

‡ Barn. iv. 22.

ciwdawd, Barac a ddadymchwelodd y ddinas hyd ei sylfaeni; ac a fu yn llywydd ar yr Israeliaid ddeugain mlynedd.

## PENNOD VI.

*Am orthrymder yr Hebreaid gan y Midianiaid a chenhedlaethau eraill; a'u gwaredigaeth drwy Gideon, yr hwn a lywodraethodd ar y lliaws saith mlynedd.*

YN awr, wedi marw Barac a Deborah, marwolaeth y rhai a ddigwyddodd ynghylch yr un amser: y Midianiaid a alwasant yr Amaleciaid a'r Arabiaid yn gynnorthwy iddynt, ac a wnaethant ryfel yn erbyn yr Israeliaid, i'r rhai y buont rŷ galed, wedi dyfod i'w herbyn; ac wedi llosgi o honynt ffrwythau 'r ddaear, dygasant ymaith ysglyfaeth gyd â hwynt. Yna, wedi gwneud hyn yn olynol dros dair blynedd, lliaws yr Israeliaid a aethant ymaith i'r mynyddau, gan adael y gwastadedd. Hwy hefyd a wnaethant iddynt eu hunain wagleoedd dan y ddaear, ac ogfeydd; a chadwasant yno yr hyn bethau na ddaethai dan sulw eu gelynion. Canys y Midianiaid a dorrasant i mewn yn amser cynhauaf; ond a ganiattasant iddynt aredig eu tiroedd yn y gauaf; fel wedi i eraill gymmeryd y llafur, y byddai iddynt hwy gael y ffrwythau i'w cymmeryd ymaith. Yn wir, y canlyniad o hyn oedd prinder ymborth; ar ba achos y tueddasant eu hunain at eu hymbiliau ar Dduw, gan ddeisyfu arno eu gwaredu hwynt.*

Gideon hefyd, mab Joash, un o bennaethiaid llwyth Manasseh, a ddug ei ysgubau o ŷd adref yn ddirgel, ac a'u dyrnodd wrth y gwinwryf; canys yr oedd yn rhy ofnus o'r gelynion i'w dwyn ar gyhoedd i'r llawr-dyrnu. Y pryd hyn rhyw beth a ymddangosodd iddo ar ddull gwr ieuangc; gan ddywedyd wrtho mai gwr dedwydd ydoedd, a'i fod yn anwyl gan Dduw. I'r hyn yn uniongyrch yr attebodd, "Arwydd galluog yw hyn i mi o ffafr Duw, pan wyf dan angenrheidrwydd i ddefnyddio y gwinwryf yma, yn lle y llawr-dyrnu!" Ond yr ymddangosydd a'i hannogodd i fod yn gefnog, ac i wneuthur ymdrech i adferyd eu rhydd-did. Attebodd fod yn amhossibl iddo ef ei adferyd, o herwydd nad oedd y llwyth i ba un y perthynai efe mewn un wedd yn lliosog; ac oblegid nad oedd efe ond ieuangc ei hun, a diddim i gwblhau y fath weithred. Eithr y llall a addawodd y byddai i Dduw gyflawni yr hyn oedd yn ddiffygiol arno, ac y trefnai fuddugoliaeth i'r Israeliaid dan eiddywysiad ef.

Yn awr, gan hynny, fel ag yr oedd Gideon yn adrodd hyn wrth rai gwŷr ieuaingc, hwy a gredasant ei ymadroddion, ac yn ddioed byddin o ddeng mil o wŷr a ymbarottôdd i ymladd. Ond Duw a safodd wrth ymyl Gideon yn ei gwsg, ac a ddywedodd wrtho, Fod dynolryw yn rhy hoff ganddynt eu hunain, ac yn elyniaethol i'r sawl a ragorai arnynt mewn rhinwedd. Yn awr, fel nad edrychent heibio i Dduw, ond cyfrif y fuddugoliaeth iddo ef, a pheidio dychymmygu ddyfod o honi iddynt drwy eu nerth eu hunain, o herwydd eu bod yn fyddin liosog, ac yn alluog eu hunain i ymladd â'u gelynion ond cyffesu eu dyled iddo ef yn ei threfnu. Cynghorodd ef i ddwyn ei fyddin allan ganol dydd, ac yn amser gwres at yr afon; ac i gyfrif y rhai a benlinient i yfed o honi yn meddiannu gwrolder; ac i eraill a frysient ac a derfysgent wrth yfed, gael eu cyfrif yn gwneuthur hynny o ofn ac arswyd rhag eu gelynion. Ac wedi i Gideon wneuthur megis ag yr oedd Duw yn ei gyfarwyddo, fe gafwyd tri chant o wŷr a gymmerasant ddwfr gan ei leppian â llaw yn derfysglyd. Felly Duw a barodd iddo gymmeryd y rhai hynny gyd ag ef, ac ymosod ar y gelynion. Yn ganlynol hwy a wersyllasant wrth afon yr Iorddonen, megis yn parottoi y dydd nesaf i fyned drosti.

Gideon ydoedd yn dra ofnus, o herwydd Duw a ragddywedasai y byddai iddo ymosod ar ei elynion wrth liw nos. Ond â Duw yn ewyllysio ei ryddhau o'i ofnau, a barodd iddo gymmeryd un o'r milwyr, a myned yn agos i bebyll y Midianiaid: oblegid y byddai ddechreuad ei gefnogrwydd ef † a'i hyfdra o'r lle hwnnw. Felly efe a ufuddhaodd, ac a gymmerodd ei weinidog Phurah gyd ag ef. Ac fel y daeth

* Barn. vi. 6. † Barn. vii. 11.

yn agos at un o'r pebyll, efe a ddeallodd fod y rhai oedd ynddo yn effro; a bod un o honynt yn adrodd ei freuddwyd i'w gyd-filwr, a hynny mor amlwg ag y gallai Gideon ei glywed ef. Y breuddwyd ydoedd hyn: Tybiodd weled o hono dorth haidd, y cyfryw un ag na fwyttaed yn hawdd gan ddynion, o herwydd ei drycced, yn treiglo drwy 'r gwersyll, gan ddadymchwel y babell frenhinol, a phebyll yr holl filwyr. Yn awr, y milwr arall a eglurodd y breuddwyd hwn, fel yn arwyddo dinystr y fyddin, gan adrodd ei reswm paham y deonglai ef y modd hwnnw: sef, "Fod yr had a elwir haidd yn cael ei gyfrif yn waelaf o bob hadau llafur neu ydau; ac fe wybyddid fod yr Israeliaid yn cael eu cyfrif yn waelaf o holl drigolion Asia, yn gyfattebol i had yr heiddiau. A'r peth a ymddangosai â mawredd yn perthyn yn awr iddo ym mhlith yr Hebreaid, ydoedd Gideon, a'r fyddin oedd gyd ag ef. A chan dy fod di yn dywedyd weled o honot y dorth yn dadymchwel ein pebyll," eb efe, "yr wyf yn ofni rhag darfod i Dduw ganiattau buddugoliaeth arnom i Gideon."

Wedi i Gideon glywed y breuddwyd hwn, cafodd ei ysprydoli â chefnogrwydd, ac a orchymmynodd i'w filwyr ymarfogi, gan adrodd iddynt y breuddwyd hwn o eiddo 'r gelynion. Cymmerasant gan hynny galondid oddiwrth yr hyn a adroddwyd iddynt, ac a addefent eu parodrwydd i gyflawni yr hyn a orchymmynai efe iddynt. Felly Gideon a ddosparthodd ei fyddin yn dair rhan, ac a'u dug allan ynghylch y bedwaredd wylfa o'r nos, a phob rhan yn cynnwys cant o wŷr: yr oeddynt oll yn dwyn piserau gweigion gyd â hwynt yn eu dwylaw, a lampau ynghanol y piserau yn oleu, fel na chanfyddai y gelynion eu dyfodiad. Yr ydoedd gan bob un o'r milwyr hefyd gorn hwrdd yn eu llaw ddehau, â'r rhai y lleisient. Ac yr oedd gwersyll y gelynion yn gorchuddio llawer o dir, oblegid fod ganddynt nifer fawr o gamelod. Ac fel yr oeddynt yn rhannedig o wahanol genhedlaethau, felly 'r oeddynt yn gynnwysedig mewn un cylch neu gwmpas. Yn awr, wedi i'r Hebreaid wneuthur fel y gorchymmynwyd iddynt yn eu dynesiad at y gelynion: ac, yn ol yr arwydd a roddid, lleisio â'r cyrn hyrddod, a thorri eu piserau, ac ymosod ar eu gelynion gyd â'u lampau, ac â bloedd fawr, yn llefain, "Buddugoliaeth i Gideon, drwy gymmorth Duw;" dychryn ac anrhefn a syrthiodd ym mhlith y dynion eraill, pan oeddynt oll yn hanner cysgu; canys dyfnder y nos ydoedd yr amser a bennodid iddynt gan Dduw. Felly ychydig o'r Midianiaid ac eraill a laddwyd gan eu gelynion, ond y rhan fwyaf gan eu milwyr eu hunain, o herwydd amrywiaeth eu hieithoedd; ac wedi eu bwrw unwaith i annhrefn, lladdasant bob un a gyfarfyddai â hwynt, gan feddwl mai gelynion fyddent. Fel hyn y gwnaethpwyd lladdfa fawr arnynt: ac fel y daeth y newydd am fuddugoliaeth Gideon at yr Israeliaid, hwy a gymmerasant eu harfau ac a erlidiasant eu gelynion, gan eu goddiweddyd mewn dyffryn, a chornentydd llifeiriol o'i amgylch, fel na allent fyned drwyddynt: felly 'r Israeliaid a'u hamgylchynasant ac a'u lladdasant oll, gyd â'u brenhinoedd, Oreb a Zeeb;* ond eraill o'u cadflaenoriaid, a arweiniodd eu milwyr oedd ar ol, y rhai mewn nifer oeddynt ynghylch deunaw mil, a wersyllasant ym mhell oddiwrth yr Israeliaid. Pa fodd bynnag, Gideon a ymlidiodd ar eu hol hwynt â'i holl fyddin, ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr â hwynt, efe a dorrodd ymaith holl fyddin y gelyn, ac a gymmerodd y ddau lywydd eraill, Zeba a Zalmunna, gan eu caethiwo hwynt. Yn awr, fe laddwyd yn y frwydr hon o'r Midianiaid, ac o'u cynnorthwywyr yr Arabiaid, ynghylch cant ac ugain o filoedd; a'r Hebreaid a gawsant ysglyfaeth fawr, aur, arian, a gwisgoedd, ynghyd â chamelod ac assynod: ac wedi i Gideon ddyfod i'w wlad ei hun Ophra, efe a laddodd dywysogion y Midianiaid.

Llwyth Ephraim, pa fodd bynnag, a anfoddlonodd gymmaint i lwyddiant Gideon, fel y cyttunasant wneuthur rhyfel ag ef, gan ei gyhuddo oblegid eiesgeulusdra yn eu hysbysu hwynt o'i fynediad yn erbyn y gelynion.† Ond Gideon, fel gwr o bwyll a synwyroldeb, ac un

* Barn. vii 25.

† Barn. viii. 1.

a oedd yn rhagori ym mhob rhinwedd dda, a ddadleuodd, nad yr hyn a darddodd o'i reswm a'i wdurdod ei hun a barodd iddo orddiwes y gelyn hebddynt; ond iddo ei wneuthur wrth orchymmyn Duw, a bod y fuddugoliaeth yn perthynu iddynt hwy yn gystal a'r rhai oedd yn y fyddin, a thrwy 'r modd yma o larieiddio eu tymmerau efe a ddug fwy o fantais i'r Hebreaid, na thrwy 'r llwyddiant a gafodd yn erbyn eu gelynion; canys efe wrth hynny a'u hachubodd rhag y terfysg oedd yn cyfodi yn eu mysg. Etto bu i'r llwyth yma yn ol hyn ddioddef cospedigaeth, oblegid eu hymddygiad angharedig at Gideon, am yr hyn y rhoddwn gyfrif mewn lle cyfaddas.

Ar hyn Gideon a fynnai roddi i fynu y llywodraeth, ond wedi ei oruwch-berswadio, efe a'i cadwodd dan ei feddiant ddeugain mlynedd;* ac a rannodd gyfiawnder rhwng y bobl a ddaethant atto â'u dadleuon; a'r hyn a benderfynai efe a gyfrifid yn safadwy gan bawb; ac wedi ei farw, efe a gladdwyd yn ei wlad ei hun, Ophra.

## PENNOD VII.

*Am y Barnwyr a ddilynasant Gideon, a'u rhyfeloedd â'r Cenhedloedd cymmydogaethol.*

YN awr, yr oedd i Gideon ddeg mab a thrugain, o blant cyfreithlon, oblegid fod ganddo lawer o wragedd; ond yr oedd iddo hefyd o'i ordderchwraig Drumah, un yn fastardaidd, enw 'r hwn oedd Abimelech, yr hwn, yn ol marwolaeth ei dad, a ymadawodd i Shechem, at berthynasau ei fam, canys yr oeddynt o'r lle hwnnw: ac wedi iddo gael ei ddiwallu ag arian gan y cyfryw o honynt ag oedd hynod am anghyfiawnder, efe a ddaeth gyd â hwynt i dŷ ei dad, ac a laddodd ei holl frodyr, oddigerth Jotham, canys efe a gafodd gyfle i ddiangc a'i ddiogelu rhag y galanasdra. Ond Abimelech a gyfnewidiodd y llywodraeth yn orthrymmus, gan ei osod ei hun yn Arglwydd, i wneud megis yr ewyllysiai, yn hytrach na dilyn y cyfreithiau; ac efe a ymddygodd yn dra annhirion at y rhai oedd fwyaf amddiffynwyr cyfiawnder.

Yn awr, pan, ar amser pennodol, † yr oedd gŵyl gyhoeddus yn Shechem, a'r holl liaws wedi ymgrynhoi ynghyd yno, Jotham ei frawd, diangfa yr hwn a grybwyllwyd eisoes, a aeth i ben mynydd Gerizim, pa un oedd yn sefyll uwchlaw Shechem, ac a waeddodd allan yn y fath fodd ag y clywid ef gan y tyrfäoedd, pa rai oedd yn wrandawus o'i eiriau. Dymunodd arnynt ystyried yr hyn a ddywedai; felly wedi gwneuthur distawrwydd, efe a lefodd, "Pan ydoedd y coed â llais dynol ganddynt, a bod tyrfa o honynt wedi dyfod ynghyd, dymunasant am i'r pren ffigys lywodraethu arnynt: ond wedi i'r pren hwnnw ei wrthod, o herwydd ei fod yn boddloni i fwynhau 'r anrhydedd a berthynai yn neillduol i'w ffrwyth ei hun, ac nid yr hyn a darddai oddiwrth eraill; ni roddodd y coed heibio eu hamcan o gael llywodraethydd: felly hwy a dybiasant yn gymmwys i wneud cynnygiad o'r anrhydedd hynny i'r winwydden. Ond wedi dewis y winwydden, hi wnaeth ddefnydd o'r un geiriau a'r ffigysbren, ac a esgusodd ei hun rhag gwneud derbyniad o'r llywodraeth: ac wedi i'r olewydden wneuthur yr un modd, y fieren, math a'r goed parod i dân, a addawodd gymmeryd y llywodraeth arni, ac i fod yn ddyfal yn y gweinyddiad o honi; ond yna bod yn rhaid iddynt eistedd i lawr dan ei chysgod; ac os gwnaent fradwriaeth yn ei herbyn i'w difetha, yr egwyddor danllyd ag oedd ynddi hi a'u difetha hwythau: a chwanegodd, "nad oedd yr hyn a ddywedai efe yn beth i gellwair; canys wedi profi o honynt hwy lawer o fendithion dan lywodraeth Gideon, yr oeddynt yn awr yn esgusodi Abimelech, ag oedd yn llywodraethu yn orthrymmus arnynt, er ei fwyn; yr hwn yr un amser a ymgyssylltodd ag eraill drwy eiddigedd tanllyd i ladd ei frodyr, yr hwn nid ydoedd well na thân ei hun." Felly wedi iddo ddywedyd hyn efe a aeth ymaith, ac a fu fyw yn y mynyddau dros dair blynedd drwy ofn Abimelech.‡

Ym mhen ychydig ar ol yr ŵyl hon, y Shechemiaid, y rhai oeddynt yn awr yn edifarhau am ladd meibion Gideon, a yrrasant Abimelech ym-

* O'r Fl. 1307, hyd y Fl. 1267. † Bl. 1267.

‡ Barn. ix. 21.

aith o'u dinas, ac o randir eu llwyth: o herwydd pa achos efe a ddyfeisiodd ffordd i ddrygu eu dinas. Yn awr, ar amser y cynhauaf grawnwin, y bobl a ofnasant fyned allan i gasglu eu ffrwythau, rhag ofn gwneuthur rhyw niweid iddynt gan Abimelech. Yna fe ddigwyddodd ddyfod attynt ryw wr o awdurdod, a'i enw Gaal, yr hwn oedd yn ymdaith yn eu mysg, a'r hwn ydoedd a'i wŷr arfog a'i garennydd gyd ag ef; felly y Shechemiaid a ddeisyfiasant arno ganiattau gwylwyr iddynt dros gynhauaf y grawnwin. Yn ganlynol efe a ganiattaodd eu dymuniad, a'r bobl a aethant allan, a Gaal gyd â hwynt o flaen ei filwyr, felly hwy a gasglasant eu ffrwythau gyd â diogelwch: a phan oeddynt yn swppera yn amryw fyrddeidiau, anturiasant felldigo Abimelech yn gyhoeddus;* a'r swyddogion a osodasant gynllwynion o amgylch y ddinas, ac a ddaliasant amryw o ganlynwyr Abimelech, ac a'u difethasant.

Yn awr, yr oedd un Zebul, swyddog y Shechemiaid, a wnaethai arlwy i Abimelech. Efe a anfonodd atto negeseuwyr, gan ei hyspysu, pa mor fawr y cyffröwyd y bobl yn ei erbyn gan Gaal; ac a'i hannogodd i osod cynllwyn o flaen y ddinas, oblegid y byddai iddo ef berswadio Gaal i ddyfod allan yn ei erbyn, yr hyn a'i gosodai mewn gallu i ymddïal arno; a phan unwaith y darfyddai hynny, y dygai efe ef i ymgymmodi â'r ddinas. Felly Abimelech a osododd gynllwynion, ac a arosodd ei hun gyd â hwynt. Yna, Gaal oedd yn trigo yn y maesdrefi, heb wylio ond ychydig drosto ei hun; a Zebul oedd gyd ag ef. Yna, fel yr oedd Gaal yn canfod byddin Abimelech yn dyfod ymlaen, efe a ddywedodd wrth Zebul, fod rhyw arfogion yn neshau yno; ond y llall a attebodd nad oedd ond cysgod meini mawrion: ac, wedi dyfod o honynt yn nes, Gaal a wybu mai gwir oedd yr olwg a gawsai, ac mai nid cysgodion oeddynt, ond gwŷr yn aros mewn cynllwyn. Yna y dywedodd Zebul, "Oni ddarfu i ti waradwyddo Abimelech fel un ofnog neu wan-galon? paham na ddangosi y fath un tra chalonnog wyt ti i fyned i ymladd ag ef!" Felly Gaal yn derfysglyd a gyd-ymladdodd ag Abimelech, ac wedi syrthio rhai o'i wŷr, efe a ffodd i'r ddinas, gan gymmeryd ei filwyr gyd ag ef. Ond Zebul a drefnodd fatterion yn y fath fodd yn y ddinas, fel y perswadiodd y bobl i fwrw Gaal allan, a hynny drwy ei gyhuddo o wan-galondid yn ei ymladdfa â milwyr Abimelech. Ond Abimelech wedi gwybod fod y Shechemiaid yn myned allan drachefn i gasglu eu grawnwin, a osododd gynllwynion o flaen y ddinas; ac wedi eu dyfod allan, y drydedd ran o'i fyddin a gymmerasant feddiant o'r pyrth, i rwystro y dinasyddion i ddychwelyd, tra yr oedd y rhan arall yn ymlid y rhai a aethant ar led; ac felly y bu lladdfa ym mhob lle; ac wedi iddo ddadymchwel y ddinas hyd ei sylfaeni, (canys nid oedd abl i wrthsefyll cynllwyn,) a hau ei lle â halen, efe a arweiniodd ei fyddin ymlaen i wneuthur dinystr, nes lladd yr holl Shechemiaid. Am y rhai a wasgarasid ar hyd y wlad, ac felly a ddiangasant rhag y perygl, ymgasglasant ynghyd at ryw graig, gan sefydlu eu hunain yno, a pharottoi i osod mur o'u hamgylch; ond pan wybu Abimelech am eu bwriadau, efe a'u rhwystrodd hwynt; ac a ddaeth a'i luoedd ar eu gwarthaf hwynt: ac efe a osododd ffagodau o sychwydd o amgylch y lle, ac efe ei hun yn dwyn rhai o honynt, ac yn annog ei wŷr i wneud yr un modd. Ac wedi amgylchynu y graig â'r ffagodau hyn, hwy a osodasant dân ynddynt, gan daflu i mewn pa beth bynnag oedd dueddol i danio. Felly yr ennynodd tân mawr, fel na allai neb ffoi ymaith oddi wrth y graig, ond pawb a fuont feirw, yn gystal gwragedd a phlant, a gwŷr hefyd; mewn nifer ynghylch pymtheg cant o wŷr, a'r lleill ydoedd rifedi helaeth hefyd. A'r cyfryw a fu y distryw a oddiweddodd y Shechemiaid; yr hyn a barasai fwy o ofid i eraill yn eu cylch, nag ydoedd pe na ddygasant gymmaint o aflwydd ar un ag oedd yn haeddu yn well ar eu dwylaw; a phe na buasant hwy eu hunain yn cyfrif hyn yn gospedigaeth arnynt am yr unrhyw.

Yna Abimelech, wedi peri dychryn i'r Israeliaid drwy y trallodion a ddygodd efe ar y Shechemiaid, a ddangosodd yn amlwg ei fod yn amcanu at fwy o awdurdod nag oedd etto yn ei

* Barn. ix. 27.

feddiant. Yn ganlynol efe a gychwynodd gyd â'i fyddin i Thebez, ac ar fyrr a gymmerodd y ddinas; ac fel yr oedd tŵr uchel yno, i ba un y diangasai yr holl drigolion, efe a wnaeth barottoad i'w gymmeryd ef. Yna fel yr oedd yn rhuthro ym mlaen yn fyrbwyll wrth ymyl y porth, rhyw wraig a fwriodd ddernyn o faen melin ar ei ben ef; wrth yr hyn y syrthiodd Abimelech i lawr, ac a ddymunodd ar gludydd ei arfau ei ladd ef, rhag cyfrif ei farwolaeth i weithred gwraig. Felly efe a aeth dan y farwolaeth hon,* megis yn gospedigaeth am y creulondeb a wnaethai efe yn erbyn ei frodyr, a'i ymddygiad barbaraidd tu ag at y Shechemiaid. Yna y distryw a ddigwyddodd i'r Shechemiaid oedd yn gyttun â rhagddywediad Jotham. Pa fodd bynnag, y fyddin oedd gyd ag Abimelech yn ei gwymp diweddaf, a wasgarwyd o amgylch, ac aethant i'w cartrefi eu hunain.

Yn awr yr oedd ddarfod i † Jair y Gileadiad, o lwyth Manasseh, gymmeryd arno y llywodraeth. Yr oedd efe yn wr cyfrifol mewn ystyriaethau eraill; ond mewn perthynas i'w blant yn neillduol, y rhai oeddynt o ymddygiad daionus. Yr oeddynt yn ddeg ar hugain o nifer, ac yn dra medrus i farchogaeth ar feirch; ac fe a ymddiriedid iddynt am lywodraeth dinasoedd Gilead. Efe a gynnaliodd y llywodraeth am ddwy flynedd ar hugain,‡ a bu farw yn oedrannus; ac a gladdwyd yn Camot, dinas o Gilead.

Wedi hyn, holl fatterion yr Hebreaid a drinid gyd ag an-sicrwydd, ag oedd yn tueddu i afreolaeth, a diystyrwch ar Dduw, ac ar y cyfreithiau gwladol. Felly yr Ammoniaid a'r Philistiaid oeddynt yn ddi-barch o honynt; ac a osodasant y wlad yn anghyfannedd â'u lluoedd; ac wedi iddynt oresgyn holl Perea, yr oeddynt mor daerion ddigywilydd ag anturio ynnill meddiant o'r holl fannau eraill. Ond a'r Hebreaid yn awr wedi diwygio eu harferion drwy'r trallodion a ddioddefasent, hwy a wnaethant eu herfyniadau at Dduw, gan aberthu iddo ef, ac ymbil arno na fyddai yn rhy lym tu ag attynt, ond bod iddo dosturio wrth eu gweddiau, a gosod heibio ei ddigllonedd i'w herbyn. Felly Duw a ddaeth yn fwy trugarog, ac a fu barod i'w cymmorth hwynt.

Wedi i'r Ammoniaid wneuthur ymgyrch i wlad Gilead, trigolion y wlad a'u cyfarfuant ar fynydd, ond â diffyg llywydd arnynt. Yna yr ydoedd un a'i enw Jeptha, yr hwn oblegid rhinwedd ei dad, ac ar gyfrif y fyddin yr oedd yn ei chynnal ar ei gost ei hun, yn wr grymmus. Yr Israeliaid gan hynny a ddanfonasant atto ef, ac a ddeisyfiasant arno ddyfod yn gymmorth, gan addaw y llywodraeth iddo arnynt dros ei holl fywyd. Ond ni chaniattaodd iddynt eu dymuniad; gan eu cyhuddo hwynt am naddaethant i'w gynnorthwyo pan gafodd driniaeth anghyfiawn, a hynny yn gyhoeddus gan ei frodyr. Canys hwy a'i bwriasant ymaith, o herwydd nad oedd o'r un fam a'r lleill, ond wedi ei eni o ddynes ddieithr, a ddygasid i mewn i'r teulu gan hoffder ei dad; a hyn a wnaethant ar gyfrif ei analluogrwydd i'w amddiffyn ei hun. Felly efe a breswyliodd yng ngwlad Gilead, fel y gelwir hi; ac a dderbyniodd y rhai oll a ddeuent atto i'w wasanaeth, o ba le bynnag y daethant, gan dalu eu cyflog iddynt. Pa fodd bynnag, pan wasgasant arno i gymmeryd yr arglwyddiaeth, a myned i'w llw o ganiattau 'r llywodraeth iddo dros ei fywyd, efe a ddaeth yn dywysog iddynt i fyned i ryfel.§

Wedi i Jeptha gymmeryd eu matterion hwynt yn gwbl dan ei ofal,|| efe a osododd sefyllfa ei fyddin yn ninas Mispeh, ac a anfonodd gennad at frenin yr Ammoniaid, gan achwyn ar ei feddiant anghyfiawn o'u gwlad hwynt. Ond y brenin hwnnw a ddanfonodd wrthwyneb gennadwri, gan achwyn ar Exodus yr Israeliaid o'r Aipht; ac a ddymunodd arno ef fyned allan o dir yr Amoriaid, a'i roddi i fynu iddo ef megis etifeddiaeth ei dadau. Ond Jeptha a ddychwelodd yr attebiad hwn, nad oedd efe yn achwyn 'yn gyfiawn ymherthynas i dir yr Amoriaid fel etifeddiaeth ei dadau; ond a

*Bl. 1264.

†Ein presennol gopiau o Josephus ydynt oll yn ol o enw Tola ym mhlith y Barnwyr, er ei fod gan ein copiau eraill, yn nesaf ar ol Abimelech, ac ydynt yn cyfrif 23 i'w lywodraethiad, Barn. x. 1, 2. etto y mae holl esponwyr Josephus yn penderfynu, fod swm blynyddau y Barnwyr yn Josephus, yn cynnwys ei 23 mlynedd. Oddi yma yr ydym i gyfaddef ddarfod colli rhyw gymmaint o'r lle hwn yn ei copiau.

‡ O'r Fl. 1241 hyd 1219. c. c. § Barn. xi. 11. || Bl. 1201.

ddylai yn hytrach ddiolch am i Israel adael gwlad yr Ammoniaid iddynt hwy, pan y gallasai Moses gymmeryd honno hefyd; ac ni chiliai efe yn ol oddiwrth feddiannu y tir ag oedd eiddynt hwy eu hunain, yr hwn a ynnillasai Duw iddynt; a'r hwn yr oeddynt hwy yn awr yn ei breswylio * er 's tri chan' mlynedd, ond yr ymladdant â hwy am dano.

Wedi rhoddi yr atteb hwn, efe a ddanfonodd y cennadwyr ymaith. Ac wedi gweddio am fuddugoliaeth, ac † addunedu cyflawni gweithred gyssegredig; ac os dychwelai adref yn ddiangol, yr offrymmai yn aberth y creadur byw cyntaf a ddelai i'w gyfarfod. Yna efe a ymgyssylltodd mewn brwydr â'r gelynion, ac a enillodd fuddugoliaeth fawr; ac wrth eu herlid a laddodd y gelynion ar hyd y ffordd mor bell a dinas Minnith. Efe yn ol hynny a aeth drosodd i dir yr Ammoniaid, ac a ddadymchwelodd lawer o'u dinasoedd, a chludo 'r ysglyfaeth ymaith, gan ryddhau ei bobl ei hun o'r caethiwed yr oeddynt dano er 's deunaw mlynedd. Ond ar ei ddychweliad yn ol, efe a syrthiodd i gystudd nad oedd mewn un modd yn cyfatteb i'r gweithrediadau mawr yr oedd efe wedi myned drwyddynt. Canys ei unig ferch a ddaeth gyntaf i gyfarfod ag ef, yr hon oedd ei unig blentyn, ac yn wyryf. Ar hyn Jeptha a alarodd yn fawr o herwydd maint ei orthrymder, gan feio ar ei ferch am fod cymmaint o frŷs arni i gyfarfod ag ef, canys efe a addunedasai wneud aberthiad o honi i Dduw. Pa fodd bynnag y ddamwain hon a ddigwyddasai iddi ni rwgnachodd o'i phlegid, gan ei bod i farw ar yr achlysur o fuddugoliaeth ei thad, a rhyddid ei chyd-ddinasyddion. Yn unig hi ddymunodd gennad gan ei thad i fyned am ddau fis i wylo o herwydd ei morwyndod a'i hieuengctid, gyd â'i chyfeillesau; ac yna hi a foddlonodd ar fod iddo yr amser nodedig wneuthur â hi yn ol ei adduned. ‡ Yn ganlynol wedi i'r amser hwnnw fyned drosodd, efe a aberthodd ei ferch yn boethoffrwm; gan offrymmu y fath aberth nad oedd yn gydffurfiol â'r gyfraith, nac yn gymmeradwy gan Dduw; na phwyso yn ei feddwl ei hun pa dŷb a fyddai gan y gwrandawyr am y fath ymarferiad.

Yna llwyth Ephraim a ymladdodd i'w erbyn ef, o herwydd na chymmerodd hwynt gyd ag ef wrth fyned yn erbyn yr Ammoniaid; ac o herwydd mai efe ei hun a gawsai yr ysglyfaeth, a'r clod am yr hyn a wnaethai. Mewn atteb i'w gyhuddiad, dywedodd, yn gyntaf, nad oeddynt hwy yn anwybodus o'r modd y buasai ei garennydd yn ymladd i'w erbyn ef, a phan wahoddwyd hwynt na ddaethant y pryd hwnnw i'w amddiffyn. Ac yn y lle nessf eu bod yn myned i wneuthur yn anghyfiawn; canys pan nad oedd calondid digonol ganddynt i ymladd â'u gelynion, yr oedd brŷs arnynt i gyfodi yn erbyn eu carennydd eu hunain. Ac efe a'u bygythiodd y byddai iddo, drwy nerth Duw, eu cospi, oddieithr iddynt dyfu yn ddoethach. Ond pan nas gallai eu perswadio, efe a ymladdodd â hwynt â'r lluoedd hynny a ddanfonodd am danynt o Gilead, ac efe a wnaeth laddfa fawr yn eu mysg; a phan faeddwyd hwynt, efe a erlidiodd ar eu hol, gan oresgyn rhydau'r Iorddonen gyd â rhan o'i fyddin, pa un a anfonasia o'i flaen; ac a laddodd ynghylch dwy fil a deugain o honynt.§ Felly wedi i Jephtha lywodraethu chwe' blynedd, ‖ efe a fu farw, ac a gladdwyd yn ei wlad ei hun, Sebee; yr hwn le sydd yn nhir Gilead.

Ibsan wedi hynny a feddiannodd y llywodraeth, yr hwn oedd o lwyth Judah, ac o ddinas Bethlehem.. Yr oedd iddo ef drugain o blant,

* Y rhan fwyaf o gopiau ydynt yn ddiffygiol o'r gair uchod. Wrth amseryddiaeth hwyaf Josephus, yr ydoedd yn fwy na 300 mlynedd. Ond yn ol yr amseryddiaeth cywiraf, nid ydoedd ond 291 mlynedd; yr hyn mewn cylch-nifer a elwid yn gyfiawn yn 300 mlynedd.

† Y mae Josephus yn gyfiawn yn condemnio Jeptha, megis ag y gwnai y Gosodiadau Apostolaidd, VII. 37. am ei adduned neu lŵ byrbwyll; pa un ai ei fod er aberthu ei ferch, fel y meddyliai Josephus; neu er neilltuad o honi, megis ei unig blentyn, i forwyndod gwastadol yn y tabernacl, neu ryw le arall; yr hyn yr wyf yn hytrach yn ei farnu. Pe buasai yn ei haddunedu yn aberth, dylesid ei hadbrynu; Lef. xxvii. 1--8. ond am ystyr yr adnodau 28, 29, megis am bethau heb fod yn perthyn i addunedau perthynol i Dduw, ond wedi eu trefnu i ddinystr, gwel nod ar y V. 1.

D. S. Y mae 'n haeddu yma sylwi arno; yr hyn a grybwyllir yn y Gosodiadau Apostolaidd, VII. 37. lle y sylwir yn eglur, ym mysg amryw weddiau neu erfyniadau dynion da a wrandawyd gan Dduw, i fod aberthau a gweddiau Gideon, ar y graig ac wrth y cnuau, yn dderbyniol yn unig o flaen ei bechodau:---o'r eiddo Sampson yn ei syched, cyn ei droseddiadau ;---a'r eiddo Jeptha yn y rhyfel, o flaen ei adduned fyrbwyll: a Manasseh yng ngwlad y Caldeaid, yn ol edifarhau am ei droseddiadau, ond nid mewn modd arall; yr hyn a welir oll yn cael ei wiro yn Hanesiad yr Hen Destament.

‡ Barn. xi. 27. § Barn. xii. 6. ‖ O'r Fl. 1201, hyd 1195.



JEPTHA's RASH VOW.

Published by Jones & Co. Albion Press London 18[illegible].

deg ar hugain o honynt yn feibion, a'r lleill yn ferched, y rhai oll a adawodd efe ar ei ol; gan roddi ei ferched yn briodasol i wŷr, a chymmeryd gwragedd i'w feibion. Ni wnaeth efe ddim yn y saith * mlynedd o'i lywodraethiad ag oedd yn werth ei goffa, neu yn haeddiannol o'i adrodd. Felly efe a fu farw yn hen wr, ac a gladdwyd yn ei wlad ei hun.

Wedi marw Ibsan yn y modd hwn, felly Elon yr hwn a lywodraethodd ar ei ol ef, ac a'i cynnaliodd am ddeng † mlynedd, ni wnaeth ddim ag oedd hynod: ac efe ydoedd o lwyth Zebulon.

Abdon ‡ hefyd, fab Hillel, o lwyth Ephraim, ac wedi ei eni yn ninas Pyrathon, a ordeiniwyd yn brif lywodraethwr ar ol Elon. Efe yn unig a goffeir megis yn ddedwydd yn ei blant; canys yr oedd matterion y llywodraeth mor heddychlon a diberygl, fel na wnaeth yntau nemmor o bethau hynod. Yr ydoedd iddo ddeugain o feibion, a thrwyddynt hwy a adawodd o'i ol ddeg ar hugain o wyrion. Ac efe a rodiodd mewn mawredd gyd â'r deg a thrugain hyn, y rhai oeddynt oll yn fedrus i farchogaeth ar feirch; a'r rhai a adawodd efe oll yn fyw ar ei ol. Efe a fu farw yn oedranus, ac a gladdwyd yn anrhydeddus yn Pyrathon. §

## PENNOD VIII.

*Am enedigaeth Sampson, a'r blinderau a ddygodd efe ar y Philistiaid.*

AR ol marw Abdon, y Philistiaid a oresgynasant yr Israeliaid; ac a dderbyniasant deyrnged ganddynt dros ‖ ddeugain mlynedd. Oddi wrth ba drallodion hwy a waredwyd yn y modd canlynol.

Yr ydoedd un Manoah, yr hwn oedd wr o fawr rinwedd, fel na chaed ond ychydig o'i gydradd ym mysg dynion; ac yn ddiddadl yr ydoedd yn rhagori ar eraill o wŷr ei wlad. Yr oedd iddo hefyd wraig glodfawr o ran ei thegwch, a rhagorach na rhai o'i chyfoedion. Ond nid oedd bant iddynt; ac a'r gwr yn anesmwyth oblegid eu dieppiledd, efe a erfyniodd ar Dduw roddi had iddynt o'u cyrph eu hunain, i etifeddu ar eu hol hwynt: a chyd â'r dymuniad hwnnw efe a ddeuai yn wastadol i'r ¶ maesdrefi gyd â'i wraig; pa ryw faesdrefi ydoedd yn y prifwastadedd. Yn awr, yr ydoedd yn hoffi ei wraig i radd o wallgofrwydd, ac ar y cyfrif hwnnw yr oedd ei eiddigedd o honi yn anfesuredig. Yna pan ar un tro yr oedd ei wraig wrthi ei hun, ymddangosodd yspryd iddi, yr hwn ydoedd angel Duw, ac yn debyg ei wedd i wr ieuangc glân a hardd; yr hwn a ddyg y newydd da o'i sicrhau o fab, yr hwn a enid iddi drwy ragluniaeth Duw; y byddai yn blentyn rhinweddol ac o rymmusder mawr, drwy yr hwn pan dyfai i oedran gwr, y cystuddid y Philistiaid. Efe a'i cynghorodd hefyd i beidio cneifio ei wallt; a bod iddo ymgadw oddiwrth bob math o ddiodydd ond dwfr, canys felly yr oedd Duw yn gorchymmyn. Felly yr angel wedi iddo adael y neges hwn gyd â hi, a aeth ymaith, yr hwn a amlygodd fod ei anfoniad yn ol ewyllys Duw. Yna y wraig a hyspysodd i'w gwr pan ddaeth adref, yr hyn a ddywedasai'r angel; yr hon a amlygodd iddo gymmaint oedd harddwch a maintioli y gwr ieuangc a ymddangosodd iddi, fel y synnodd ei gwr yn fawr, gan eiddigeddu ynddo ei hun, ac ammau ynghylch yr ymddangosiad. Ond yr ydoedd hi yn dymuno fod i ofnau afresymmol ei gwr gael eu symmud ymaith. Yn ganlynol, hi ymbiliodd ar Dduw i anfon ei angel drachefn, fel y gwelid ef gan ei gwr hefyd. Felly yr angel a ddaeth drachefn, drwy ffafr Duw, pan oeddynt yn y maesdrefi, gan ymddangos i'r wraig wrthi ei hun, heb y gwr. Hi ddeisyfodd ar yr angel aros cyhyd ag y galwai ar ei gwr; ac wedi caniattau 'r gofyniad hwnnw iddi, hi a redodd at Manoah. Pan welodd efe yr angel, nid oedd yn rhydd oddiwrth ddrwg dybiau; ac a ddymunodd arno adrodd yr hyn a ddywedasai wrth ei wraig. Ond wedi iddo

* O'r Fl. 1195 hyd 1188. † O'r Fl. 1188 hyd 1178.

‡ Rhifedi blynyddau llywodraeth Abdon, y rhai yn y copiau eraill ydynt 8, ydynt yn eisiau yn ein holl gopiau presennol o Josephus, yn yr un modd ag yr oedd yn ol holl amser llywodraeth Tola, yr hyn a sylwiais yn ddiweddar arno. Ac nid oes un lle i ammau nad bai noeth yr ysgrifenyddion yn ei adael o'r neilldu ydoedd.

§ Barn. xii. 15. ‖ O'r Fl. 1178 hyd 1138.

¶ Ni fedraf ganfod un rheswm paham yr oedd Manoah a'i wraig yn dyfod mor fynych i'r maesdrefi hyn, i weddio am gael plant, ond o herwydd fod Synagog neu le o addoliad ynddynt.

ef ddywedyd, ei fod yn ddigon iddi hi wybod yr hyn a ddywedasai; yna y deisyfodd arno hyspysu iddynt pwy ydoedd; fel pan enid y plentyn y gallent roddi diolch, a dwyn anrheg iddo. Efe a attebodd nad oedd achos arno am anrhegion; canys ni ddaethai i ddwyn y newyddion da am enedigaeth mab iddynt o ran eisiau unrhyw beth. Ac wedii Manoah ei gymmell i aros, a chyfrannogi o'i haelioni ef, ni fynnai gydsynio. Pa fodd bynnag, efe a berswadiwyd, ar daer ddeisyfiad Manoah, i wneud byrr arosiad, fel y dangosai un arwydd o'i haelioni iddo. Felly efe a aeth ac a laddodd fynn o'r geifr, ac a'i berwodd ef: ac wedi i'r cwbl gael ei barottoi, parodd yr angel iddo osod y bara a'r cig, eithr heb y llestri, ar y graig. Yr hyn pan wnaethant, efe a gyffyrddodd â'r cig â blaen y wialen oedd ganddo yn ei law; yr hwn ar doriad allan fflam o dân, a ddifawyd, ynghyd â'r torthau hefyd. A'r angel a ddyrchafodd yn eu golwg hwynt i fynu i'r nefoedd yn y mwg, megis mewn math o gerbyd. Yna yr oedd Manoah yn ofni rhag digwydd rhyw niweid iddynt, oddiwrth yr olwg yma ar Dduw; ond ei wraig a'i cynghorodd i fod yn gefnog; am ymddangos o Dduw iddynt er eu cysur a'u buddioldeb.*

Felly y wraig a feichiogodd, ac ydoedd ofalus i sylwi ar yr annogaethau a roddwyd iddi. A hwy a alwasant y plentyn wedi ei eni ef, Sampson; pa enw a arwydda un ag sydd grŷf. Felly y plentyn a gynnyddodd yn fuan, ac fe ymddangosodd yn eglur y byddai efe yn brophwyd; † yn gystal o herwydd cymmedroldeb ei luniaeth, a thyfiad anarferol ei wallt.

Yn awr, wedi dyfod unwaith gyd â'i rieni i Timnath, dinas berthynol i'r Philistiaid, pan ydoedd gwyl fawr yno, efe a syrthiodd mewn cariad â morwynig o'r wlad honno, ac a ddymunodd ar ei rieni geisio y llangces honno yn wraig iddo ef. Ond hwy a wrthodasant wneuthur felly, o herwydd nad oedd hi o genedl Israel. Eithr o herwydd fod y brïodas yma o Dduw, yr hwn oedd yn bwriadu ei throi er budd i'r Hebreaid, gorchfygodd hwynt â'i berswadiad, i arfer moddion i'w dyweddïo hi iddo ef. Ac fel yr oedd yn barhaus yn dyfod i ymweled â'i rhieni, efe a gyfarfu â llew ar y ffordd; ac er ei fod yn noeth, efe a dderbyniodd ymosodiad cyntaf y llew, ac a'i llindagodd â'i ddwylaw, ac a fwriodd ei ysgerbwd i le coedog y naill du i'r ffordd.

Ar amser arall pan oedd efe yn myned i ymweled â gwrthddrych ei serchiadau, efe a ganfu haid o wenyn yn gwneud eu crwybrau yn ysgerbwd y llew; a chan gymmeryd tri o'r diliau mêl ymaith gyd ag ef, efe a'u rhoddodd, ynghyd a'i anrhegion eraill, i'r llangces. Yn awr, pobl Timnath, drwy arswyd grymmusder y gwr ieuangc, a drefnasant iddo, yn oed amser y wledd brïodas, (canys efe yn oed yr amser hwnnw a'u gwleddodd hwynt oll,) ddeg ar hugain o'u gwŷr ieuaingc mwyaf grymmus eu hunain fel rhith-gymdeithion iddo; ond mewn gwirionedd i fod yn wylwyr arno, fel na chynnygiai wneuthur dim aflonyddwch iddynt. Yn awr, fel yr oeddynt yn yfed yn llawen ac yn chwareu, Sampson a lefarodd fel arferol ar y fath amserau, "Deuwch, mi a osodaf ddammeg o'ch blaen, ac os eglurwch hi ym mhen y saith niwrnod, rhoddaf i bob un o honoch grys lliain, a gwisg newydd, yn wobrwyon am eich doethineb." Felly, a hwy yn dra awyddus i feddiannu 'r anrhydedd o fod yn ddoethion, ynghyd â'r ynnill addawedig, a ddymunasant arno fynegi ei ddammeg. Efe a ddywedodd, "Difawr mawr a ddug ymborth melus allan o hono ei hun; er ei fod ei hun yn dra ammheraidd." A phan nad oeddynt yn gallu, ym mhen y tridiau, gael allan feddwl y gyffelybiaeth; hwy a ddymunasant ar y wraig ieuangc i gael gan ei gwr ei ddadguddio iddi a'i fynegi iddynt hwy; a hwy a fygwthiasant ei llosgi os na ddywedai hi ef wrthynt hwy. Felly wedi erfyn o honi ar Sampson ei draethu iddi, efe ar y cyntaf a'i gommeddodd; ond fel yr oedd yn ymosod yn

* Barn. xiii. 23.

† Yma wrth brophwyd y mae Josephus yn ymddangos i feddwl un a anesid wrth drefn neillduol rhagluniaeth, yr hwn oedd yn byw yn ol dull Nasareaid neillduedig i Dduw, ag oedd i gael awdurdod a chryfder anarferol oddiwrth Dduw, i'r diben i farnu ac amddiffyn ei bobl Israel, heb ddim priodol ddatguddiedigaethau prophwydoliaethol.

daer arno ef, ac yn wylo, gan ddadleu ei ommeddiad yn arwydd o angharedigrwydd tu ag atti, efe a hyspysodd iddi am laddiad y llew, ac fel y cawsai haid o wenyn yn ei ysgerbwd ac y dygodd ymaith dri o'r diliau ac a'u rhoddodd iddi hi. Fel hyn, ac efe heb feddwl am dwyll neu ddichell ynddi, a ddywedodd iddi y cwbl; a hithau a'i datguddiodd i'r rhai a chwennychai ei ddeongliad. Yna ar y seithfed dydd, ym mha un yr oeddynt i egluro 'r ddammeg, hwy a ymgasglasant ynghyd cyn machludiad haul, ac a ddywedasant, "Nid oes dim mor llidiog a'r llew, at y rhai a gyfarfyddant ag ef; na dim yn felusach na'r mel i'r rhai a wnel ddefnydd o hono." I'r hyn y gwnaeth Sampson yr attebiad hwn, "Nid oes dim mwy twyllodrus na gwraig, canys y cyfryw oedd yr un a ddatguddiodd fy neongliad i chwi." Yn ganlynol efe a roddes yr anrhegion addawedig iddynt; gan wneud yr Asceloniaid ag a gyfarfu ag ef ar y ffordd yn ysglyfaeth iddo; y rhai oeddynt eu hunain hefyd yn Philistiaid. Ond efe a ysgarodd â'i wraig, yr hon a ddirmygodd ei ddigter, ac a briododd ei gydymaith, yr hwn a fu 'n foddion i'w huno hwynt â'u gilydd ar y cyntaf.

Ar gyfrif yr ymddygiad maleisus yma tu ag atto, Sampson a gythruddwyd yn y fath fodd ag y penderfynodd gospi yr holl Philistiaid megis hithau. Felly, a'r pryd hynny yn amser hâf, a ffrwythau y tir yn agos i addfedrwydd cymmwys i'w fedi, efe a ddaliodd dri chant o lwynogod, gan glymmu ffaglau wrth eu cynffonau; y rhai a drodd efe i ydau y Philistiaid, fel y difawyd llawer o honynt. Yn awr, wedi i'r Philistiaid* wybod mai gwaith Sampson ydoedd, a deall hefyd am ba beth y gwnaethai hynny; hwy a anfonasant eu swyddogion i Timnath, ac a losgasant ei wraig ragflaenol a'i pherthynasau, y rhai a fuasent yn achos o'u haflwydd a'u colledion.

Wedi i Sampson ladd llawer o'r Philistiaid yn y gwastadedd, efe a drigodd yn Etam, yr hon sydd graig gadarn yn llwyth Judah; canys y Philistiaid y pryd hynny a wnaethant ymgyrch yn erbyn y llwyth hwnnw. Ond pobl Judah a ddadleuasant nad oeddynt yn gwneuthur yn gyfiawn â hwynt drwy osod cospedigaeth arnynt hwy pan oeddynt yn talu eu teyrnged; a hynny yn unig ar gyfrif troseddiadau Sampson. Hwythau a attebasant, mai os oeddynt am eu difeio eu hunain, fod yn rhaid iddynt roddi i fynu Sampson, a'i adael dan eu hawdurdod hwynt. Felly a hwy yn ewyllysio difeio eu hunain, a ddaethant at y graig, gyd â thair mil o wŷr arfog, ac a achwynasant wrth Sampson am y sarhad rhyfygus a wnaethai â'r Philistiaid, y rhai ydoedd bobl ag a allai ddwyn dinystr ar holl genedl yr Hebreaid: a dywedasant ymhellach wrtho, eu bod wedi dyfod i'w gymmeryd ef, a'i roddi i fynu i'w dwylaw a than eu hawdurdod hwynt. Felly hwy a ddymunasant arno oddef hyn yn ewyllysgar. Yn ganlynol wedi iddo dderbyn sicrwydd ganddynt drwy lw, na wnaent niweid un ffordd arall iddo, namyn ei roddi yn llaw 'r gelynion, efe a ddisgynnodd i lawr o'r graig, ac a roddodd ei hun dan awdurdod ei gydwladwyr. Yna hwy a'i rhwymasant â dwy raff, gan ei dywys ymlaen, mewn trefn i'w roddi i fynu i'r Philistiaid. Ac wedi dyfod o honynt i ryw le a elwir yn awr Argwrn yr En, ar gyfrif y weithred fawr a wnaed yno gan Sampson, er nad oedd gynt enw arno; y Philistiaid y rhai oedd yn gwersyllu heb fod neppell oddiyno, a ddaethant i'w cyfarfod gan lawenhau a bloeddio, megis pe yr ennillasant fuddugoliaeth fawr, a chael yr hyn a ewyllysient. Ond Sampson a ddrylliodd ei rwymau yn chwilfriw, a chan gymmeryd asgwrn gên assyn yn ei law, efe a ymosododd ar ei elynion, ac a laddodd fil o honynt, gan yrru'r lleill ar ffo mewn mawr ddychryndod.†

Ar ol y lladdfa hon, yr oedd Sampson yn rhy falch o'i weithred, ac a ddywedodd na ddaethai hyn o amgylch drwy neillduol gymmorth Duw; ond bod ei lwyddiant i'w gyfrif i'w wrolder ei hun, gan ymffrostio mai o ran ei ofn ef y syrthiasai rhai o'r gelynion, ac y ffoisai y lleill ymaith, ar ei waith yn gwneud defnydd o ên yr assyn. Ond wedi dyfod syched mawr arno ef, efe a ystyriodd wroldeb dynol megis peth diddim, ac a ddygodd dystiolaeth fod y cwbl i gael ei

* Barn. xv. 6.

† Barn. xv. 15.

gyfrif i Dduw; ac a erfyniodd arno ef na ddigiai am yr hyn a ddywedasai efe, ac na roddai ef i fynu i ddwylaw ei elynion; ond estyn cynnorthwy iddo dan ei drallodion, gan ei waredu o'r cyfyngderau yr oedd efe danynt. Yn ganlynol, Duw a dosturiodd wrth ei lefain, ac a barodd i ffrwd o ddwfr melus darddu allan yn ymmyl craig. Oddiwrth yr hyn y galwyd y lle gan Sampson,*Asgwrn yr En, ac felly ei gelwir hyd y dydd hwn.

Ar ol y lladdfa hon yr oedd Sampson yn ddiystyrllyd o'r Philistiaid, ac a ddaeth i Gaza, gan gymmeryd i fynu ei letty mewn tafarndy. Wedi i lywodraethwyr Gaza gael eu gwneud yn hyspys o'i ddyfodiad, hwy a gymmerasant feddiant o'r pyrth, gan osod gwylwyr o'u hamgylch, fel na ddiangai ymaith heb ei weled: ond Sampson, yr hwn a wnaed yn hyspys o'u bwriadau, a gododd ganol nos, ac a ymosododd â'i holl rym yn erbyn dorau ac ystlys-byst y pyrth, gan eu cymmeryd ymaith, a'u dwyn ar ei ysgwyddau i'r mynydd ag oedd ar gyfer Hebron; † ac yno y gosododd hwynt i lawr.

Pa fodd bynnag, efe o'r diwedd a ‡ droseddodd yn erbyn cyfraith ei wlad; ac a newidiodd ei ddull rheolaidd o fywiolaethu, gan ddilyn arferiadau rhai o wledydd dieithr; yr hyn beth a fu yn ddechreuad ei ofidiau. Canys efe a gwympodd mewn serch â phutteinwraig ym mysg y Philistiaid, enw yr hon oedd Delilah, gan fyw gyd â hi. Felly goruchwylwyr y llywodraeth ym mhlith y Philistiaid a ddaethant atti, ac a'i perswadiasant i geisio ganddo ddatguddio iddi ym mha le yr oedd ei fawr nerth yn gynnwysedig, drwy 'r hwn y daeth Sampson yn annorchfygol i'w elynion. Yn ganlynol, a hwy yn cyd-yfed, ac yn cyd-ymddiddan â'u gilydd, hi gymmerodd arni ryfeddu wrth y gweithredoedd a wnaethai efe, ac a ddyfeisiodd i gael allan drwy ddichell, drwy ba foddion yr oedd yn rhagori cymmaint ar eraill mewn nerth. Sampson, mewn trefn i dwyllo Delilah, (canys nid ydoedd etto wedi colli ei synwyrau,) a attebodd, os rhwymid ef â saith o wdyn irion y winwydden, wedi eu plethu, y byddai yn wannach na neb arall. Ni ddywedodd y wraig ychwaneg y pryd hyuny; ond a fynegodd hyn i lywodraethwyr y Philistiaid, ac a guddiodd nifer o filwyr mewn cynllwyn yn ei thŷ; ac fel yr oedd efe mewn annhrefn wedi yfed ac yn cysgu, hi a'i rhwymodd ef mor sicr ag oedd yn bossibl â'r gwdyn; ac ar ol iddi ei ddihuno ef, dywedodd, fod rhai o'r bobl yn barod i ymosod arno ef; ond efe a ddrylliodd y gwdyn, ac a ymdrechodd i'w amddiffyn ei hun, megis pe buasai rhai o'i elynion yn wirioneddol yn ei orddiwes ef. Yn awr, y fenyw hon yn ei hymddiddan parhaus â Sampson, a ffuantodd ei bod yn ei gymmeryd yn angharedig iawn fod ganddo cyn lleied o hyder yn ei ffyddlondeb, megis pe na fedrai gadw yn guddiedig yr hyn a wyddai a fyddai er ei fudd ei ddatguddio. Pa fodd bynnag, efe a'i twyllodd drachefn, ac a ddywedodd wrthi, os rhwymid ef â saith o raffau, y collai efe ei nerth. A phan, wedi gwneuthur hyn, na ynnillodd ddim arno, efe a ddywedodd wrthi y drydedd waith, ar fod i'w wallt gael ei wau megis darn o wê; ond y gwir ni ddatguddiasid iddi etto.

O'r diwedd, pa fodd bynnag, Sampson, ar ddeisyfiadau Delilah, (canys efe a farnesid i syrthio i ryw gystudd,) a chwennychodd ei boddhau hi, ac a ddywedodd wrthi, ddarfod i Dduw ofalu drosto, ac iddo gael ei eni drwy neillduol ragluniaeth, ac am hynny y gadawsai i'w wallt dyfu, gan i Dduw orchymmyn na thorrai byth mo hono; ac o hynny yr oedd yn dyfod ei nerth, yn gyfattebol i'w gynnydd diad a pharhad ei wallt. Wedi ei dysgu ganddo y modd hwn, a'i ddifeddiannu o'i wallt, hi a'i traddododd i fynu i'w elynion, pan nad oedd efe ddigon galluog i'w amddiffyn ei hun. Felly, hwy a dynnasant ei lygaid allan, ac a'i rhwymasant, § gan ei arwain o amgylch yn eu mysg.

Ond mewn yspaid o amser gwallt Sampson a

* Y ffynnon yma a elwid Leti, neu Asgwrn yr En, sydd etto mewn bod, fel y mae trafaelwyr yn sicrhau i ni: ac a adwaenid wrth yr enw yma yn nyddiau Josephus, ac mewn oesoedd ar ei ol ef. Gwel Hynaf. VII. 12. Hanesion Blyn. Glycas, a Theithiau Antonius, Reland. Palestin. II. t. d. 752.

† Barn xvi. 3.

‡ Gwelwch hyn wedi sylwi yn gywir arno yn y Gosodedigaethau Apostolaidd, VIII. 37. ddarfod gwrando gwèddi Sampson; ond i hynny ddigwydd cyn amser ei droseddiad.

§ Barn. xvi. 1.

dyfodd drachefn. Ac yr oedd gwyl gyhoeddus ym mhlith y Philistiaid, pan oedd y llywodraethwyr, a phennaethiaid eraill yn cyd-wledda. Yn awr, yr ystafell ym mha un yr eisteddent a gynhelid gan ddwy golofn. Felly hwy a ddanfonasant am Sampson, yr hwn a ddygwyd i'r fan y cynalid y wledd, i wneuthur gwawd o hono. Ar hyn,ac efe yn ei ystyried yn anhappusrwydd mwyaf, os na allai ei ddial ei hun, pan ydoedd yn awr y fath waradwydd arno, efe a berswadiodd y bachgen oedd yn ei dywys gerfydd ei law, ei fod yn flinedig ac eisiau gorphwys ei hun; gan ddymuno ei ddwyn at y colofnau i roddi ei bwys arnynt. Ac mor gynted ag y daeth attynt, efe a ruthrodd gyd â nerth yn eu herbyn, ac a dynnodd y tŷ i lawr drwy ddadymchwelyd ei golofnau, gyd â thair mil o wŷr ynddo,* y rhai oll a laddwyd, ac yntau gyd â hwy. A'r fath hyn ydoedd diwedd Sampson, yn ol llywodraethu ar Israel ugain † mlynedd. Ac yn wir y gwr hwn a haeddai ei ryfeddu oblegid ei gryfdwr a'i rymmusder, a'i fawrhydri yn ei farwolaeth; a bod i'w lidiowgrwydd yn erbyn ei elynion gyrraedd mor bell ag i farw ei hun gyd â hwynt. Ond am ei ddull yn cael ei faglu gan wraig, hynny a gyfrifir i natturiaeth ddynol, yr hon sydd rŷ wan i wrthsefyll temtasiwnau y pechod hwnnw. Ond ni a ddylem ddwyn ein tystiolaeth iddo, ei fod ym mhob peth arall yn ddyn o rinweddau rhagorol. Ei garennydd a ddygasant ymaith ei gorph, ac a'i claddasant yn Sarasat, ei wlad ei hun, gyd â gweddill ei deulu.

## PENNOD IX.

*Am briodas Boaz a Ruth; o ba rai y tarddodd Obed, Taid Dafydd.*

YN awr, wedi marw Sampson, Eli yr archoffeiriad oedd lywodraethwr yr Israeliaid. O dano ef, ‡ pan ydoedd y wlad yn cael ei chystuddio â newyn, Elimelech, o Bethlehem, yr hon sydd ddinas o lwyth Judah, heb allu cynnal ei deulu dan y fath gyfyngder, a gymmerodd gyd ag ef Naomi ei wraig, a'r plant a anesid iddo o honi, sef Mahlon a Chilion, a symmudodd ei breswylfod i dir Moab: ac yn amser llwyddiant ei amgylchiadau yno, efe a gymmerodd i'w feibion wragedd o'r Moabiaid, Orpah i Chilion, a Ruth i Mahlon. Ond ymhen ynghylch deg o flynyddoedd Elimelech a fu farw, ac ymhen ychydig wedi hynny ei feibion a fuont feirw hefyd: a Naomi yn dra anesmwyth oblegid y digwyddiadau hyn, ac heb allu ymgynnal dan yr amgylchiad unig ac anghyssurus yma, wedi marw y rhai anwylaf ac agosaf iddi o berthynas, ar gyfrif pa rai yr aethai o'i gwlad, hi a ddychwelodd iddi drachefn; canys hi a glywsai ei bod yn awr mewn cyflwr blodeuog. Pa fodd bynnag, ei merched ynghyfraith nid oeddynt yn foddlon i ymadael â hi; a phan oedd meddyliau ganddynt i fyned o'u gwlad gyd â hi, ni allai eu perswadio i'r gwrthwyneb. A phan ddadleuant á hi, dymunodd iddynt briodasau mwy happus nag a gawsant gyd â'i meibion hi, a bod iddynt lwyddo mewn pethau eraill hefyd: a chan ystyried ei hamgylchiad ei hun mor isel, hi a'u cynghorodd i aros lle yr oeddynt, a pheidio a meddwl gadael eu gwlad eu hunain, a chyfrannogi gyd á hi o'r ansicrwydd o fywioliaeth, dan ba un yr oedd yn rhaid iddi ddychwelyd. Yn ganlynol, Orpah a arosodd yn ol; ond cymmerodd Ruth gyd á hi, am na ellid ei pherswadio i ymadael, ond a fynnai gyd-gyfrannogi á hi ymhob peth a ddigwyddai iddi.§

Wedi i Ruth a'i mam-ynghyfraith ddyfod i Bethlehem, Boaz, yr hwn oedd agos o garennydd i Elimelech, a'i croesawodd hi. Ac wedi i Naomi gael ei mynych alw felly gan ei chyd-ddinasyddion, yn ol ei gwir enw, hi a ddywedodd, "Gellwch yn fwy cymmwys fy ngalw i Mara." O herwydd Naomi a arwydda yn yr Hebraeg, Dedwyddwch; a Mara, Tristwch neu chwerwder. Yr oedd yn awr yn amser medi; a Ruth drwy gydsyniad ei mam ynghyfraith a aeth allan i loffa, fel y caent ddigon o ŷd yn lluniaeth. Yna digwyddodd iddi ddyfod i faes Boaz: ac yn ol peth amser Boaz ei hun a

* Barn. xvi. 27, 30. † Oddiamgylch 1158 hyd 1138; c. c.
‡ Yn ol yr amseriad (1350) rhaid oedd ei fod amser hir cyn llywodraethiad Eli. § Ruth. i. 19.

ddaeth yno, a phan welodd efe y llangces, ymofynodd â'i wasanaeth-ddyn a osodasid ar y medelwyr ymherthynas iddi. Y gweinidog ychydig o'r blaen a ofynasai ei hun iddi am ei hamgylchiadau, yr hyn a adroddodd efe i'w feistr. Boaz ar hynny a'i cofleidiodd yn garedig, yn gystal oblegid ei serch i'w mam ynghyfraith, a'i choffadwriaeth o'i mab, i ba un y buasai hi yn briod; ac a ddymunodd iddi fwynhad o sefyllfa ddedwyddol. Felly efe a barodd iddi na loffai, ond medi yr hyn a allai, a rhoddi cennad iddi i'w gymmeryd adref. Efe hefyd a roddodd orchymmyn i'r gwas hwnnw oedd yn olygwr ar y medelwyr, i beidio a'i rhwystro pan y cymmerai yr ŷd ymaith; ac a barodd iddo roddi ei chinio iddi, a'i diodi, megis y gwnelai i'r medelwyr. Yn awr, yr hyn a gafodd Ruth o ŷd ganddo, hi a'i cadwodd i'w mamynghyfraith, ac a'i dygodd gyd â hi adref y nos honno. Ac yr oedd Naomi wedi cadw rhan o'r fath ymborth iddi ag a ddarfuasai ei chymmydogion ei diwallu hi ag ef. Ruth hefyd a fynegodd i'w mam-ynghyfraith yr hyn a ddyddywedasai Boaz wrthi: ac wedi iddi hithau ei gwneud yn hyspys, ei fod ef yn agos o garennydd iddynt, ac ysgatfydd ei fod yn wr o'r fath gydymdeimlad ag y gwnai ryw ragddarbodiad drostynt. Hithau a aeth allan drachefn y dyddiau nesaf, i gynnull lloffion gyd â morwynion Boaz. Nid oedd llawer o ddyddiau cyn i Boaz, wedi nithio yr haidd, gysgu yn ei lawrdyrnu. Pan hysbyswyd i Naomi 'r amgylchiad hwn, hi ddarluniodd yn ei meddwl fod i Ruth fyned a gorwedd yn ei ymyl ef; canys hi a ddychymmygodd y byddai er ei mantais iddo ymddiddan ymhellach â hi. Yn ganlynol, hi ddanfonodd y llangces i gysgu wrth ei draed, yr hon a wnaeth fel y parwyd iddi; canys ni farnodd ei fod yn unol â'i dyledswydd i wrthwynebu un gorchymmyn o'r eiddo ei mamynghyfraith. Ac ar y cyntaf hi orweddodd yn guddiedig oddiwrth Boaz, gan ei fod yn ei drwm-gwsg; ond pan ddeffrodd yn y nos, a deall fod merch yn gorwedd wrth ei draed, efe a ofynodd Pwy ydoedd? ac wedi dywedyd ei henw iddo, hi ddymunodd arno, yr hwn yr oedd yn ei gydnabod fel ei meistr, ei hesgusodi: yntau ni ddywedodd yn rhagor; ond yn y boreu, cyn dyfod o'r gwasanaeth-ddynion at eu gwaith, efe a'i dihunodd, ac a barodd iddi gymmeryd cymmaint o'r haidd ag a allai ddwyn gyd â hi, a dychwelyd at ei mam-ynghyfraith, cyn i neb wybod ei bod wedi gorwedd wrth ei draed ef y noson honno; oblegid mai callineb oedd ymochelyd rhag gwaradwydd a allai gyfodi ar y cyfrif hwnnw; yn enwedig pan na ddigwyddasai dim ag oedd ddrwg: ond ymherthynas i'w hamcan pennaf ag oedd hi yn cyfeirio atto, byddai i'r achos orphwys yn hyn: "Gofynnir i'r hwn sydd nes o garennydd na myfi yn gyntaf, A ewyllysia efe dy gymmeryd yn wraig? os dywed ei fod, ti a'i canlyni ef; ond os gwrthoda efe, myfi a'th briodaf di yn unol â'r gyfraith."*

Wedi iddi wneuthur ei mam-ynghyfraith yn hyspys o hyn, yr oeddynt yn dra chyssurus o'i herwydd, drwy obeithio y byddai i'r Boaz hwnnw ddarparu drostynt. Yna, ynghylch canol y dydd Boaz a aeth i lawr i'r ddinas, gan gasglu yr henuriaid ynghyd; ac wedi iddo anfon am Ruth, efe a alwodd ei pherthynas hefyd. Ac wedi ei ddyfod, efe a ofynnodd iddo, A oedd efe yn dal etifeddiaeth Elimelech a'i feibion? Efe a gyffesodd ei fod yn ei dala, megis ag yr oedd y cyfreithiau yn caniattau iddo wneuthur, gan ei fod ef yn nesaf o garennydd iddynt. Yna dywedodd Boaz, "Ni ddylit gofio y cyfreithiau mewn rhan, ond cyflawni y cyfan a berthyn iddynt. Canys gwraig Mahlon a ddaeth yma, yr hon sydd raid i ti ei phriodi yn ol y gyfraith, os ewyllysi gadw meddiant o'i faesydd." Felly y gwr a roddodd i fynu y maesydd a'r wraig hefyd i Boaz, yr hwn ei hun oedd berthynas i'r rhai a fuasai feirw; gan ddywedyd fod ganddo ef eisoes wraig, a phlant hefyd. Felly Boaz a alwodd y senedd yn dystion, ac a barodd i'r ferch ddattod ei esgyd, a phoeri yn ei wyneb, yn ol y gyfraith. Ac wedi gwneuthur hyn, Boaz a briododd Ruth, a hwy a gawsant fab ym mhen blwyddyn ar ol hynny. Naomi ei hun a fu yn fammaeth i'r plentyn hwn; a thrwy gydgyngor y gwragedd, galwasant ei enw ef Obed,

* Ruth iii. 13.

megis un i'w ddwyn i fynu i fod yn wasanaethgar iddi hi yn ei henaint. Canys Obed yn Hebraeg sy'n arwyddoccau gwasanaethydd. Mab Obed oedd Jesse; a'i fab ef oedd Dafydd frenin,* yr hwn a adawodd ei etifeddiaethau i'w feibion dros un ar hugain o genhedlaethau. Yr oeddwn, gan hynny, dan angenrheidrwydd i adrodd yr hanes yma am Ruth, o herwydd fod dymuniad gennyf i amlygu gallu Duw, yr hwn heb anhawsdra, a all ddyrchafu rhai o deulu cyffredin i fawredd ac anrhydedd, i'r hyn y dyrchafodd efe Dafydd, er ei eni o dylwyth o'r fath isel radd.

## PENNOD X.

*Am enedigaeth Samuel, a'i ragfynegiad o'r dinystr a oddiweddai meibion Eli.*

AC yn awr, mewn amser o ddrwg amgylchiad yr Hebreaid, gwnaethant ryfel drachefn yn erbyn y Philistiaid. Yr achos oedd hyn. Yr oedd gan Eli yr archoffeiriad ddau o feibion, Hophni, a Phineas, y rhai oedd yn euog o anghyfiawnder tu ag at ddynion, ac o anfoesoldeb tu ag at Dduw, ac heb ymgadw oddiwrth un math o ddrygioni. Rhai o'r aberthau a ddygent ymaith, megis yr hyn a berthynai i'r swydd anrhydeddus oedd ganddynt; eraill a gymmerasant drwy drais. Yr oeddynt hefyd yn euog o weithredoedd aflan gyd â'r gwragedd a ddeuent i addoli yn y tabernacl. Ië, nid oedd holl ystod eu bywyd yn ddim gwell na thrais a gorthrymder.† Eu tad gan hynny oedd ddig wrthynt oblegid y fath ddrygioni, ac a ddisgwyliodd y byddai i Dduw yn fuan osod ei gospedigaeth arnynt, o herwydd yr hyn a wnaethent. Yr oedd y lliaws yn ei gyfrif yn anferthwch hefyd. A chyn gynted ag y rhagddangosodd Duw y trallod a oddiweddai feibion Eli, yr hyn a wnaeth efe i Eli ei hun, ac i Samuel y prophwyd, yr hwn nid oedd ond plentyn etto, efe a amlygodd ei ofid ar gyhoedd o herwydd distrywiad ei feibion.

Bydd i mi yn gyntaf fwrw golwg ar yr hyn sydd gennyf i'w adrodd ynghylch y prophwyd Samuel; ac ar ol hynny mi af ym mlaen i lefaru am feibion Eli, a'r trueni a ddygasant ar holl bobl yr Hebreaid. Elcana, yr hwn oedd Lefiad, un o ganolig sefyllfa ym mhlith ei gydddinasyddion, ac un oedd yn aros yn Ramathaim, dinas o lwyth Ephraim, a briododd ddwy o wragedd, Hannah a Peninna. Yr oedd plant iddo o'r olaf, ond yr oedd efe yn caru y llall yn fwy, er ei bod yn ammhlantadwy. Yna Elcana a ddaeth gyd â'i wragedd i ddinas Shiloh i aberthu, canys yno yr oedd tabernacl Duw yn sefydledig. Yna, wedi darfod iddo aberthu, efe a rannai ar yr wyl honno ddarnau o'r cig i'w wragedd a'i blant; a Hannah yn edrych ar blant y wraig arall yn amgylchu'r bwrdd, hi a ymollyngodd i lefain, o herwydd ei diffrwythdra; a chan adael i'w gofid ragori ar gyssuron ei gwr, hi a aeth i'r tabernacl i erfyn ar Dduw ei gwneuthur hithau yn fam plant, gan addunedu cyssegru y cyntaf-anedig fab i wasanaeth Duw; a hynny yn y fath ffordd na fyddai ei ddull o fywiolaethu yn gyffelyb i ddynion cyffredin. Ac fel yr oedd hi yn parhau i weddio dros hir amser, Eli yr archoffeiriad, yr hwn oedd yn eistedd o flaen y tabernacl, a barodd iddi fyned ymaith, gan feddwl ei bod wedi yfed gwin i ormodedd. Ond wedi dywedyd o honi mai dwfr a yfasai, ai bod mewn tristwch o herwydd ei hanffrwythlondeb, ac mai erfyn yr ydoedd ar Dduw i ystyried ei chyflwr, efe a barodd iddi fod yn gyssurus, am y gwrandawai Duw ar ei deisyfiad.‡

Felly hi a ddaeth at ei gwr yn llawn o obaith, ac a fwyttaodd ei bwyd gyd â llawenydd. A phan ddychwelasant i'w gwlad eu hun, hi gafodd ei hunan yn feichiog, a ganwyd mab iddi, i'r hwn y rhoddasant yr enw Samuel, yr hwn a ellid ei gyfenwi, Un a ofynwyd gan Dduw. Hwy a ddaethant gan hynny i'r tabernacl i offrymmu aberth dros enedigaeth y plentyn, gan ddwyn eu degymmau gyd â hwynt. Ond y wraig a gofiodd yr adduned a wnaethai ymherthynas i'w mab, ac a'i rhoddodd i fynu i Eli, gan ei gyssegru i Dduw, i fod yn brophwyd iddo ef. Yn ganlynol, ei wallt a adawyd i dyfu yn llaes, a'i ddïod ydoedd ddwfr. Felly Samuel a ddygwyd i fynu yn y

* Ruth iv. 17. † 1 Sam. ii. 12--17.

‡ 1 Sam. i. 17.

deml.* Ond bu meibion eraill i Elcana o Hannah, a thair o ferched.

Pan oedd Samuel yn ddeuddeng mlwydd o oedran, † efe a ddechreuodd brophwydo:—ac fel yr oedd unwaith yn huno, Duw a alwodd arno wrth ei enw; ond efe yn meddwl ei alw gan yr archoffeiriad, a aeth atto ef: ond pan ddywedodd yr archoffeiriad na alwasai efe arno, Duw a wnaeth yr un modd ag ef deirgwaith. Eli, gan hynny, a oleuwyd yn ei feddwl gymmaint, fel y dywedodd wrtho, "Yn wir, Samuel, distaw a fum i yn awr megis o'r blaen. Duw sydd yn dy alw di. Dyro, gan hynny, arwydd iddo ef, a dywed, yr wyf yma yn barod." Felly pan glywodd efe Dduw yn galw drachefn, dymunodd arno lefaru, a datgan pa ryw ymadroddion a welai yn dda, canys ni fethai efe gyflawnai pa ryw ddyledswydd bynnag a osodai efe iddo. I'r hyn yr attebodd Duw, "Gan dy fod yma yn barod, dysg wybod pa ryw drueni sydd yn dyfod ar yr Israeliaid; y cyfryw yn wir a'r na's gall geiriau eu hadrodd, na ffydd ei gredu. Canys meibion Eli a fyddant feirw mewn un dydd; a'r offeiriadaeth a symmudir i deulu Eleazar: canys Eli a garodd ei feibion yn fwy na 'm haddoliad i, a hynny i'r fath raddau a'r na fydd er mantais iddynt." Eli a barodd i'r prophwyd fynegi y neges hwn iddo drwy lw: canys heb hynny nid oedd ewyllys ganddo ei flino ag adroddiad o hono. Ac yn awr yr oedd i Eli ddisgwyliad mwy sicr am ddinystr ei feibion: eithr gogoniant Samuel a gynnyddodd fwyfwy; pan ellid canfod, am ba beth bynnag y prophwydodd efe, ddyfod o hono i ben yn ol hynny.‡

## PENNOD XI.

*Am yr aflwyddiant a ddigwyddodd i feibion Eli, yr Arch, a'r bobl; hefyd am farwolaeth Eli.*

YNGHYLCH yr amser hwn § y Philistiaid a wnaethant ryfel yn erbyn yr Israeliaid, ac a wersyllasant yn ninas Aphec. Yn awr, wedi i'r Israeliaid ddisgwyl ychydig amser am danynt, ar y dydd nesaf hwy a ymgyfarfuasant mewn brwydr; ond y Philistiaid a fu yn fuddugoliaethwyr, ac a laddasant ynghylch pedair mil o'r Hebreaid, gan erlid y gweddill o honynt hyd eu gwersyllfa.

A'r Hebreaid yn awr yn ofnus o'r gwaethaf, hwy a anfonasant at yr henuriaid, ac at yr archoffeiriad, gan ddymuno i arch Duw gael ei dwyn attynt i'r gwersyll: fel drwy ymarfogi eu hunain, wedi ei chael yn bresennol yn eu mysg, y byddent rŷ drech i'w gelynion; megis yn anystyriol fod yr hwn a'u rhoddodd drosodd i ddioddef y galanasdra hwn, ei hunan yn fwy na 'r arch; ac ar gyfrif pa un y daethai yr arch i gael ei gwerthfawrogi. Felly yr arch a ddaeth, a meibion yr archoffeiriad gyd â hi; wedi sicrhau iddynt gan eu tad, fel, os disgwylient y byddent fyw yn ol cymmeryd yr arch, na ddelent ddim yn rhagor i'w bresennoldeb ef. Canys yr oedd Phineas yn gweinidogaethu eisoes fel archoffeiriad, gan fod ei dad wedi rhoddi y swydd i fynu iddo ef, oblegid ei oedran mawr.‖ Felly yr Hebreaid oeddynt yn llawn calondid, megis yn disgwyl y byddent rŷ galed i'w gelynion; y Philistiaid hefyd oeddynt yn arswydo o herwydd dyfodiad yr arch i wersyll yr Israeliaid: pa fodd bynnag ni thyfodd y canlyniad yn unol â disgwyliad un blaid; ond wedi ymgyssylltu y frwydr, y fuddugoliaeth a ddisgwylid gan yr Hebreaid a ynnillwyd gan y Philistiaid; a'r goresgyniad ag oedd y Philistiaid yn ei ofni, a syrthiodd i ran yr Israeliaid; a thrwy hynny hwy a gydnabuasant roddi o honynt eu hyder yn ofer ar yr arch, canys hwy yn fuan a orchfygwyd, wedi dyfod o honynt i ymladdfa agos â'u gelynion, ac a gollasant ynghylch deng mil ar hugain o bobl, ym mhlith y rhai yr ydoedd meibion yr archoffeir-

---

* Josephus a ddywed yma, ddarfod dwyn Samuel i fynu yn y lle cyssegredig, neu 'r deml; hynny yw, yn yr adeiladau cyssegredig o amgylch y tabernacl; megis yr arferir am dŷ sanctaidd, gan Josephus, y tabernacl ei hun, VI. 12. ac mewn amryw leoedd eraill.

† Ynghylch Bl. 1170

‡ Er digwydd rhai prophwydi achlysurol o'r blaen, etto y Samuel hwn ydoedd y cyntaf o ddilyniad parhaus y prophwydi yn y genedl Iuddewig, fel yr arwyddir wrth eiriau St. Pedr, Act. iii. 24. "A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac o'r rhai wedi, cynnifer ag a lefarasant, a ragfynegasant hefyd am y dyddiau hyn." Gwel hefyd Act. xiii. 20. Eraill yn hytrach a elwid ar amserau yn wŷr cyfiawn. Gwel Matth. x. 41. xiii. 17. Gosod. Apos. VIII. 12.

§ Bl. 1143. ‖ Yr ydoedd yn 98 mlynedd o oedran. Gwel 1 Sam. iv. 15.

iad. Yr arch hefyd a ddygwyd ymaith gan eu gelynion.

Pan ddaeth y newydd am y goresgyniad hwn i Shiloh, gyd â'r un hynny am ddaliad yr arch; (canys rhyw wr ieuangc o Benjaminiad a fuasai yn y frwydr, a ddaethai yno megis negeseuwr;) yr oedd yr holl ddinas yn llawn o wylofain. Ac Eli yr archoffeiriad, yr hwn oedd yn eistedd ar orseddfa uchel yn ymyl y porth, a glybu eu cri galarus, ac a feddyliodd fod rhyw ddamwain echrydus wedi digwydd i'w deulu. Felly efe a ddanfonodd am y gwr ieuangc, a phan ddeallodd yr hyn oedd wedi digwydd yn y frwydr, ni ofidiodd gymmaint am ei feibion, neu 'r hyn a ddywedid iddo am y fyddin; canys yr oedd efe yn gwybod eisoes drwy ddwyfol ddatguddiad fod y pethau hyn i ddigwydd, ac wedi rhagddywedyd am danynt ei hun ym mlaen llaw: canys y pethau a ddigwyddo yn annisgwyliadwy sydd yn briwo dynion fwyaf: ond cyn gynted ag y clybu fod yr arch wedi ei dwyn ymaith gan y gelynion, efe a ofidiodd wrth hyn yn fawr iawn, o herwydd ei ddigwydd yn wahanol i'r hyn ag oedd efe yn ei ddisgwyl: felly efe a syrthiodd i lawr o'i orseddfa, ac a fu farw; wedi byw ddeunaw a phedwar ugain o flynyddau, a llywodraethu ddeugain mlynedd ar Israel.*

Ar yr un dydd, gwraig ei fab Phineas a fu farw hefyd, megis heb allu dala i'w gofidiau oblegid ei gwr. Canys dywedasant wrthi am farwolaeth ei gwr pan oedd hi mewn gwewyr esgor. Pa fodd bynnag, hi a ymddug fab yn saith mis, i'r hwn y rhoddasant yr enw Icabod; † pa ryw enw sydd yn arwyddo gwarth neu waradwydd, a hynny o herwydd i'r fyddin gael ei gwaradwyddo y pryd hwnnw.

Yn awr, Eli oedd y cyntaf o dylwyth Ithamar, mab Aaron, ag a feddiannodd y llywodraeth: canys teulu Eleazar a weiniasant gyntaf fel archoffeiriaid; y mab yn derbyn yr anrhydedd hwnnw yn barhaus oddiwrth ei dad. Eleazar a'i gadawodd i'w fab Phineas, ar ol pa un y derbyniodd Abiezer ei fab yr anrhydedd, yr hwn a'i traddododd i'w fab yntau, enw 'r hwn oedd Bucci. Ei fab yntau a'i derbyniodd nesaf; yn ol pa un Eli, am yr hwn y soniasom, a gafodd yr archoffeiriadaeth, ac felly y cafodd ei hiliogaeth hyd deyrnasiad Solomon: ond yna yr ail-feddiannwyd hi gan hiliogaeth Eleazar.

---

# LLYFR VI.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddeuddeng Mlynedd ar Hugain.*

## O FARWOLAETH ELI HYD FARWOLAETH SAUL.

### PENNOD I.

***Am y Dinystr a ddaeth ar y Philistiaid drwy ddigllonrwydd Duw, o herwydd dwyn o honynt yr Arch ymaith; a'r modd y danfonasant hi yn ol i'r Hebreaid.***

WEDI i'r Philistiaid gymmeryd arch yr Hebreaid, hwy a'i dygasant ymaith i ddinas Ashdod, ac a'i gosodasant yn ymyl eu duw eu hunain, Dagon, ‡ megis un o'u hysglyfaeth. Ond pan aethant i mewn i'w teml y boreu nesaf, i addoli eu heilun-dduw, hwy a'i cawsant ef yn talu yr un addoliad i'r arch, canys yr ydoedd yn ei orwedd, wedi syrthio i lawr oddi ar y gwadnau ar ba rai yr oedd yn sefyll. Felly hwy a'i cymmerasant i fynu, ac a'i gosodasant drachefn ar ei wadnau lle yr oedd o'r blaen, gan ofidio yn fawr am yr hyn a ddigwyddasai. Ac fel yr oeddynt yn mynych ymweled â Dagon, ac yn ei gael yn barhaus ar ei orwedd, mewn agwedd o addoli o flaen yr arch, yr oeddynt mewn mawr derfysg a blinder yspryd. O'r

* O'r Fl. 1088 hyd 1248, c. c. † 1 Sam. iv. 31.

‡ Dagon, sef eilun-dduw y Philistiaid, a feddylir yn gyffredin ei fod ar lun dyn uwchlaw 'r bogail, ac o hynny i lawr ar lun pysgodyn.

diwedd Duw a anfonodd haint ddinystriol ar ddinas a gwlad Ashdod; canys hwy a fuont feirw o'r gwaedlif, neu glefyd y gwaed, a ddygai farwolaeth arnynt yn dra buan; canys cyn y gallent, megis ar farwolaeth o glefydau eraill, gael eu rhyddhau o'u cyrph, eu hymysgaroedd a ddeuai i fynu, gan ymadael â'r hyn a fwyttasent, a'r hyn a lygrid gan yr afiechyd. Ac am ffrwythau eu tir, lliaws mawr o lygod a godasant o'r ddaear, gan eu difa hwynt, heb arbed na chnydiau na phlanhigion. Yna, tra 'r oedd pobl Ashdod dan yr aflwyddiant hwn, ac heb allu cynnal eu hunain dan 'y fath ddinystr, canfuasant ddioddef o honynt y pethau hyn o herwydd yr arch; ac nad oedd y fuddugoliaeth a gawsent, gyd â dygiad yr arch ymaith, wedi digwydd er daioni iddynt. Hwy, gan hynny, a anfonasant at bobl Ascelon, gan ddymuno arnynt dderbyn yr arch i'w mysg. A'r dymuniad yma nid oedd annymunol gan yr Asceloniaid, a hwy a gyttunasantgyd â pharodrwydd: ond wedi iddynt gael yr arch, yr oeddynt yn yr un cyflwr truenus a hwythau; canys yr arch a ddygodd gyd â hi yr un anffawd ag a ddioddefodd pobl Ashdod, ar y rhai ag a'i derbyniasai ganddynt. Y rhai hynny o Ascelon a'i hanfonasant ymaith hefyd i eraill; y rhai wrth eu herlid gan yr un drygau, a'i hanfonasant drachefn i ddinasoedd cymmydogaethol. Felly yr arch a ddygwyd y modd hwn o amgylch i bum' dinas y Philistiaid, megis pe buasai yn cyfrannu y drygau hyn iddynt yn wobr am ei dyfodiad i'w mysg.

Wedi i'r rhai a brofasant y barnedigaethau hyn flino arnynt, ac wedi i'r sawl a glywsant am danynt gael eu haddysgu drwy hynny i ballu ei derbyn ymhellach i'w mysg, pan oedd eraill wedi talu teyrnged mor ddrud o'i herwydd; o'r diwedd hwy a ddychymmygasant ryw ffordd i gael gwared o honi a'u rhyddhau oddiwrthi. Felly arglwyddi neu lywodraethwyr y pum' dinas, Gath, Ecron, Ascelon, Gaza, ac Ashdod, a gydgyfarfuasant, i ystyried beth oedd oreu ei wneuthur. Ac ar y cyntaf hwy a dybiasant mai y ffordd oreu oedd danfon yr arch yn ol at ei phobl ei hun, gan gydnabod i Dduw ddïal ei achos, a dyfod gyd â hi y blinderau yr aethant danynt, a'u danfon ar eu dinasoedd o'i phlegid ac ynghyd â hi. Pa fodd bynnag, eraill a ddywedent na ddylent wneuthur felly, na dioddef eu hunain i gael eu twyllo, drwy gyfrif yr achos o'u trallodion iddi hi; o herwydd na's gallai fod ganddi y fath lywodraeth neu awdurdod arnynt: canys pe buasai gan Dduw y fath ofal am dani, ni ollyngasai hi i ddwylaw dynion. Felly hwy a'u cyngorasant i fod yn llonydd, a goddef yr hyn a ddaethai arnynt, gan feddwl nad oedd achos arall o'u blinderau ond ei ddigwydd o naturiaeth, pa un a beidiai ar ddychweliad pennodol yr amserau sydd yn gweithio 'r fath gyfnewidiau yng nghyrph dynion, yn y ddaear, y planhigion, a'r holl bethau a dyfant allan o'r ddaear. Ond y cyngor a roddasid gan y rhai a grybwyllwyd eisoes, ydoedd eiddo gwŷr a gyfrifid yn ddoeth ac yn ddeallus; a'r rhai, yn eu hamgylchiad presennol, a ymddangosent uwchlaw eraill eu bod yn dywedyd yn uniawn. Y dynion hyn a ddywedasant, nad oedd yn gymmwys anfon yr arch ymaith, na'i chadw hi; ond cyssegru pump o ddelwau aur, un dros bob dinas, megis offrwm o ddiolchgarwch i Dduw, ar gyfrif ei ofal am eu cadwraeth, ac am eu cadw yn fyw, pan oedd eu bywydau yn debyg o gael eu cymmeryd ymaith gan y cyfryw glefydau na allent sefyll i fynu yn eu herbyn. Hwy hefyd a fynnent iddynt wneuthur pump o lygod * aur, cyffelyb i'r rhai a ddifasant ac a ddinystriasant ffrwyth eu gwlad; eu dodi mewn côd, a'u gosod ar yr arch, a gwneud menn newydd iddi hefyd, a dodi buchod † blithion dan iau wrthi; ond i gauad i fynu eu lloi, a'u cadw oddi wrthynt;

* Spanheim sydd yn hyspysu i ni, fod ar arian Tenedos, a rhai o ddinasoedd eraill, lun llygod meusydd wedi eu hargraphu; ynghyd ag Apollo Smintheus, neu Apollo, gyrrwr ymaith y llygod daear; ar gyfrif ddarfod dychymmygu iddynt ryddhau ardaloedd pendant o dir oddiwrth y llygod hyn: pa ryw arian ydynt yn dangos y fath farn drom a fu y fath lygod ar amserau; ac fel yr oedd y waredigaeth oddiwrthynt yn cael ei gyfrif i effaith dwyfol awdurdod: pa ryw sylwiadau ydynt dra addas i ddilyn yr hanes hon.

† Y ddyfais hon o eiddo 'r Philistiaid, o osod buchod blithion dan iau i dynnu 'r fen, ym mha un y gosodasant arch yr Hebreaid, a eglurir yn fawr gan hanesiad Sanchoniatho, dan ei nawfed genhedlaeth; sef, fod gan un Agroucrus, neu Agrotes, y llafurwr, ddelw a feunyddiol addolid, a theml iddi, yr hon a ddygid o amgylch gan un iau neu ychwaneg o ychen, yn Phœnicia, yng nghymmydogaeth y Philistiaid hyn. Gwel Cumberland's Sanchoniatho, t. d. 27 a 247, ac Essay (byr-draeth.) ar yr Hen Dest. Chwan. t. d. 172.

rhag wrth ganlyn ar eu hol y byddent yn rhwystr i'w mammau, a pheri i'r buchod ddychwelyd yn gynt yn ol o chwant i'w lloi: yna bod iddynt yrru y gwartheg oedd yn dwyn y fenn, a'u gadael mewn lle ag y byddai tair ffordd yn ymgyfarfod, a gadael i'r buchod fyned ar hyd y ffordd a ddewisent; fel os elent i'r ffordd a dywysai at yr Hebreaid, ac a esgynai i fynu i'w gwlad hwynt, y meddylient mai 'r arch oedd yr achos o'u trallodion: ond os tröent i ffordd arall, bod iddynt eu dilyn, a phenderfynu nad o achos yr arch y bu eu dinystr.

Felly hwy a farnasant fod yr hyn a ddywedai y gwŷr hyn yn dda; a hwy yn ddioed a gadarnhasant eu cyngor, drwy wneuthur yn ol hynny. Ac wedi iddynt wneuthur fel y desgrifiwyd eisoes, hwy a ddygasant y fenn i le ag yr oedd tair ffordd yn ymgyfarfod, gan ei gadael yno. Ond y buchod a aethant ar hyd yr iawn ffordd, fel pe buasai ryw un yn eu gyrru hwynt, tra 'r oedd llywodraethwyr y Philistiaid yn dilyn, megis yn ewyllysio gwybod pa le y safent, ac i ba le y byddent yn tueddu. Yna yr oedd pentref perthynol i lwyth Judah, a elwid Bethshemesh, ac i'r pentref hwnnw y cyfeiriodd y buchod; ac er bod ffordd ehang a hawdd o'u blaen i fyned ar hyd-ddi, nid aent hwy ym mhellach, ond a attalient y fenn yno. Yr oedd hwn yn olwg gyssurus i breswylwyr y lle hwnnw, ac yr oeddynt yn llawen o'i herwydd. Canys a hi y pryd hwnnw yn amser haf, a'r holl drigolion yn eu maesydd yn cynnull eu ffrwythau, hwy a adawsant heibio waith eu dwylaw gan lawenydd, cyn gynted ag y gwelsant yr arch, gan redeg at y fenn: ac wedi cymmeryd yr arch i lawr, a'r llestri ag oedd a'r lluniau ynddynt, a'r llygod aur, hwy a'u gosodasant ar ryw graig yn y gwastadtir. Ac wedi offrymmu aberth godidog i Dduw, a gwledda, hwy a offrymasant y fenn a'r buchod megis yn boeth offrwm. Ac wedi i arglwyddi y Philistiaid weled hyn oll, hwy a ddychwelasant yn ol.

Ond yn awr y bu ddarfod i ddigter Duw eu goddiweddyd yno, ac a laddodd yn feirw* ddeg a thrugain o wŷr Bethshemesh, y rhai, a hwy heb fod yn offeiriaid, a thrwy hynny ddim yn teilyngu cyffwrdd â'r arch, a nesasant yn fyrbwyll ac yn anystyriol atti. Eraill o'r lle hwnnw a alarasant dros y rhai a ddioddefodd, a hynny i'r fath raddau ag a ellid yn naturiol ddisgwyl, oblegid y fath ymweliad oddiwrth Dduw, a phob un yn galaru am ei berthynas ei hun. Ac wedi cydnabod eu hanheilyngdod o arhosiad yr arch gyd â hwynt, hwy a anfonasant at seneddwyr cyhoeddus yr Israeliaid, gan hyspysu iddynt am adferiad yr arch o wlad y Philistiaid: yr hyn pan wybuant, hwy a anfonasant i ddwyn ymaith yr arch i Ciriath-jearim, dinas ynghymmydogaeth Bethshemesh. Yn y ddinas hon yr oedd yn byw un Abinadab, Lefiad wrth enedigaeth, a'r hwn a gymmeradwyid yn fawr am ei ymddygiad cyfiawn a chrefyddol: felly hwy a ddygasant yr arch i'w dŷ ef, megis i le cymmwys i Dduw ei hun breswylio, tra 'r oedd gwr cyfiawn eisoes yn aros yno. Ei feibion hefyd a weiniasant yn y gwasanaeth dwyfol gyd â'r arch, ac a fuont ei phrif-olygwyr am† ugain mlynedd; canys cyhyd a hynny o amser y parhaodd yn Ciriath-jearim; ac wedi bod‡ ond pedwar o fisoedd gyd â'r Philistiaid.

## PENNOD II.

*Am ymgyrch y Philistiaid yn erbyn yr Hebreaid, a buddugoliaeth yr Hebreaid arnynt, dan arweiniad Samuel y prophwyd, yr hwn oedd flaenor eu llu.*

TRA 'r oedd dinas Ciriath-jearim a'r arch gyd â hwynt, holl gorph y bobl a ymroesant drwy gwbl o'r amser hwnnw i offrymmu gweddïau ac aberthau i Dduw, gan ymddangos yn fawr eu gofal a'u hawyddfryd ynghylch gwasanaeth Duw. Felly Samuel y prophwyd a'i barnodd yn amser cyfaddas i lefaru wrthynt tra fyddent o'r tueddiad daionus hwn, ynghylch adferiad ei rhyddid, a'r bendithion sydd yng nglŷn â'r unrhyw. Yn ganlynol, efe a wnaeth ddefnydd o'r fath eiriau wrthynt ag a feddyliodd

* Y 70 gwŷr, heb gymmaint a bod yn Lefiaid, a gyffyrddasant â'r arch mewn modd byrbwyll a dibarch, ac a laddwyd gan law geryddol Duw am eu rhyfyg a'u hanystyriaeth, yn ol y bygythion dwyfol, Num. iv. 15. 20; ond pa fodd y daeth ein copiau eraill i chwanegu y fath nifer anghredadwy a 50000 yn y dref neu'r ddinas fechan hon, ni fedraf wybod. Gwel sylwiadau manylaidd Dr. Wall ar 1 Sam. vi. 19.

† O'r Fl. 1148 hyd 1128. ‡ Saith mis, yn yr Hebraeg a'r Septuagint.

a fyddai fwyaf tebygol i gynnyrfu 'r tueddiad hwnnw, a'u perswadio i'w ymarfer:* "O chwychwi Israeliaid," eb efe, "i ba rai y mae 'r Philistiaid fyth yn elynion creulon; ond i ba rai y mae Duw yn dechreu bod yn raslawn. Y mae'n gweddu i chwi nid yn unig i ddymuno rhyddid, ond i arfer yr iawn ffordd o'i feddiannu. Ac ni ddylech foddloni ar ddymuniad i ryddhau eich hunain oddi dan eich arglwyddi a'ch meistriaid, tra 'r ydych fyth yn gwneuthur yr hyn a fo 'n achos o'ch parhad danynt. Byddwch gyfiawn, gan hynny, a bwriwch ymaith ddrygioni o'ch meddyliau; ac wrth ei addoli erfyniwch gr y Dwyfol Fawrhydi â'ch holl galon, a pharhewch yn eich ymbiliau atto ef: canys os gwnewch y modd hwn, chwi a fwynhewch lwyddiant, ac a'ch rhyddheir o'ch caethiwed, a rhoddir i chwi fuddugoliaeth ar eich gelynion; pa ryw fendithion ni ellir yn bossibl eu mwynhau drwy arfau rhyfel, drwy rym corphorol, neu drwy liaws eich cynnorthwywyr; canys ni addawodd Duw y bendithion hyn drwy 'r moddion hynny, ond drwy fod yn ddynion da a chyfiawn. Ac os byddwch yn gyfryw rai, myfi a fyddaf yn feichiau drosoch am gyflawniad o addewidion Duw i chwi." Wedi i Samuel lefaru fel hyn, y lliaws a ganmolasant ei ymadrodd, ac a roesant eu cydsyniad i roddi eu hunain i wneuthur yr hyn a ryngai fodd Duw. Felly Samuel a'u casglodd ynghyd i ddinas a elwid Mispeh, yr hyn sydd yn arwyddo yn yr iaith Hebraeg, Twr gwyliadwriaeth. Yno y tynnasant ddwfr, ac a'i tywalltasant i Dduw, ac a ymprydiasant drwy 'r holl ddiwrnod, gan roddi eu hunain i weddiau.

Ni ddiangodd y dyrfa hon rhag sulw y Philistiaid. Felly pan ddeallasant fod cwmpeini mor fawr wedi cyd-gyfarfod, hwy a syrthiasant ar yr Hebreaid â llu mawr, a byddin luosog iawn, gyd ag amcan i'w goddiweddyd pryd na ddisgwylient, na gwneud unrhyw barodrwydd at hynny. Hyn a barodd arswydd i'r Hebreaid, ac a'u dododd mewn anhrefn a dychryn. Felly hwy a ddaethant dan redeg at Samuel, gan ddywedyd, "Ein heneidiau a soddasant gan ein hofnau, a chan ystyriaeth o'r gorchfygiad o'r blaen a gawsom; ac oddi yno y darfu i ni aros yn llonydd, rhag cythruddo meddyliau ein gelynion i'n herbyn. Yn awr, wedi i ti ein cynnhoi ynghyd i offrymmu ein gweddiau a'n haberthau, a chymmeryd llw o ufudd-dod; ein gelynion a wnaethant barottöad i'n herbyn, tra 'r ydym yn noeth ac yn anarfog. O herwydd paham nid oes gobaith arall gennym o ymwared ond drwy dy gyfarwyddyd di, a chymmorth a roddo Duw i ni drwy dy weddiau atto ef, i gael gwaredigaeth rhag y Philistiaid." Ar hyn Samuel a barodd iddynt fod yn gyssurus, ac a ddywedodd y byddai i Dduw eu cynnorthwyo: a chan gymmeryd oen sugno, efe a'i haberthodd dros y lliaws; gan ymbil ar Dduw i estyn ei law amddiffynnol drostynt, pan ymladdont â'r Philistiaid, a pheidio a'u rhoddi i fynu, a gadael iddynt gael eu caethiwo drachefn gan eu gelynion. Yn ganlynol, Duw a wrandawodd ar ei weddïau; ac wedi gwneud derbyniad graslawn o'u haberth, efe a drefnodd fuddugoliaeth ar eu gelynion iddynt. Yn awr, tra 'r oedd yr allor âg aberth Duw arni, ac heb ei difa gan dân cyssegredig, byddin y gelynion a gychwynasant o'u gwersyll, ac a ddodwyd mewn trefn i ymladd, ahyn gyd â gobaith o fod yn fuddugoliaethwyr, gan fod yr Iuddewon † mewn amgylchiadau cyfyng; megis ag heb fod eu harfau gyd â hwynt, nac wedi eu dodi ynghyd mewn trefn i ymladd. Ond fe droes pethau allan felly, fel na chredid hwy yn brin gan y rhan fwyaf y rhagfynegasid iddynt am danynt. Canys yn y lle cyntaf, Duw a aflonyddodd eu gelynion â daear-gryn, gan symmud y llawr danynt i'r fath raddau, fel y parodd iddo grynu, a hwythau gael eu hysgwyd arno: yn gymmaint a thrwy hynny yr oedd rhai o honynt yn analluog i sefyll ar eu traed, gan gwympo i lawr; a thrwy agor holltau neu agennau yn y ddaear, parodd i eraill gael eu bwrw ar ffrwst i lawr iddynt. Yn ol hyn efe a barodd y fath sŵn taranau yn eu mysg, a mellt

*Bl. 1128. †Dyma'r lle cyntaf, cyn belled ag yr wyf yn cofio, yn yr Hynafiaethau hyn, y mae Josephus yn dechreu galw ei genedl yn Iuddewon; yr hwn hyd yma yn arferol, os nid yn wastadol, a'u galwai yn Hebreaid neu Israeliaid.

tanllyd yn llewyrchu mor ddychrynllyd o'u hamgylch, fel yr oedd yn barod i losgi eu hwynebau; ac efe a ysgydwodd eu harfau mor ddisymmwth o'u dwylaw, fel y parodd iddynt ffoi a dychwelyd adref yn noethion. Felly Samuel, gyd â'r lliaws, a'u herlidiodd hyd le a elwir Bethcar; ac yno y gosododd i fynu faen megis terfyn eu buddugoliaeth, a ffoedigaeth eu gelynion, gan ei alw yn Faen y Cymmorth, fel arwydd o'r nerth a roddasai Duw iddynt yn erbyn eu gelynion.

Felly y Philistiaid ar ol yr ergyd hwn, ni wnaethant ychwaneg o ymgyrch yn erbyn yr Israeliaid; * ond a arosasant yn llonydd oddi ar ofn a choffadwriaeth o'r hyn a'i goddiweddasai gynt. A'r calondid oedd gan y Philistiaid o'r blaen yn erbyn yr Hebreaid, ar ol y fuddugoliaeth hon, a ddychwelodd iddynt hwy. Samuel hefyd a wnaeth ymgyrch yn erbyn y Philistiaid, ac a laddodd lawer o honynt, ac a ddarostyngodd yn hollol falchder eu calonnau; ac a gymmerodd oddiarnynt y wlad, pa un, pan oeddynt o'r blaen yn gongcwerwyr, a dorrasant ymaith oddiwrth yr Iuddewon; yr hon wlad oedd yn cyrraedd o derfynau Gath hyd ddinas Ecron. Ond gweddill y Canaaneaid oeddynt yr amser hwn mewn cyfeillgarwch â'r Hebreaid.

## PENNOD III.

*Am ofal Samuel ymherthynas i achosion cyhoeddus, a drwg weinyddiad y llywodraeth gan ei Feibion; a gofyniad y lliaws yn ganlynol am gael eu llywodraethu gan Frenin.*

Y Prophwyd Samuel, wedi trefnu achosion y bobl mewn dull rheolaidd, ac appwyntio dinas ym mhob rhandir a berthynai iddynt; efe a orchymmynodd iddynt ddyfod i'r cyfryw ddinasoedd â'r dadleuon a fyddai yn eu mysg, y naill tu ag at y llall, i gael eu penderfynu; ac efe ei hun yn myned o amgylch y dinasoedd hynny ddwywaith yn y flwyddyn, i weini cyfiawnder iddynt. A thrwy 'r moddion yma efe a'u cadwodd dan lywodraeth dda dros hir amser.

Ond yn ol hynny, ac efe yn teimlo ei hun yn cael ei wasgu gan oedran, ac heb fod yn alluog i lenwi ei le megis o'r blaen; efe a roddodd yr awdurdod lywodraethol, a gofal y cyffredin i'w feibion; yr hynaf o'r rhai hyn a elwid Joel, ac enw 'r ieuangaf ydoedd Abiah. Efe a archodd iddynt hefyd gartrefu a barnu 'r bobl, un yn ninas Bethel, a'r llall yn Beersheba; ac a rannodd y wlad yn ddosparthiadau, fel y byddai 'r bobl dan olygiad pob un o honynt. Yn awr, y dynion hyn a roddant siampl ac arwyddion amlwg i ni o'r modd y mae rhai plant o wahanol duedd i'w rhieni: ond weithiau, ysgatfydd, yn rhai da a chymmedrol, er eu geni o rieni annuwiol; ac weithiau o'r gwrthwyneb, yn ddrwg, er tarddu o dylwyth da. Canys a'r dynion yn troi o'r neilldu o lwybrau daionus eu tad, gan ŵyro barn er mwyn budr-elw o roddion a gwobrau; ac heb roddi barn ddiduedd yn ol gwirionedd, ond yn ol eu gwobrwyon; gan droi ymaith at ormodedd a bywyd trachwantus. Felly, gan iddynt, yn y lle cyntaf, weithredu yn groes i ewyllys Duw; yr un modd y gwnaethant yr hyn oedd wrthwyneb i feddwl y prophwyd, eu tad; yr hwn a gymmerasai lawer o boen, ac a wnaethai bob darpariad ag oedd bossibl i ddiwygio'r llywodraeth, ac i weini cyfiawnder i bawb o'r cyffredin.

Ar y cam hwn a wnaethpwyd i'w gosodiadau a'u llywodraeth flaenorol gan feibion y prophwyd, yr oedd y bobl yn dra anesmwyth wrth eu gweithredoedd, ac a ddaethant gan redeg at y prophwyd, yr hwn y pryd hynny oedd yn byw yn ninas Ramah, ac a wnaethant yn hyspys iddo droseddiadau ei feibion: ac a ddywedasant gan ei fod ef eisoes ei hunan yn hen, ac yn rhy analluog i olygu eu hachosion yn y modd y byddai arferol; felly hwy a ddeisyfiasant arno appwyntio rhyw un i fod yn frenin arnynt, † yr hwn a lywodraethai ar y genedl, ac a'u dialai ar y Philistiaid, y rhai a haeddent eu cospi am eu blaenorol orthrymder. Y geiriau hyn a flinodd Samuel yn fawr, o herwydd ei gariad greddfol i gyfiawnder, a'i gasineb i lywodraeth frenhinol, canys yr oedd yn dra serchus i lywodraeth boblogaidd, megis yr hyn oedd yn gwneuthur y bobl

* 1 Sam. vii. 13.

† 1 Sam. viii. 5.

a'i harferai o dueddrwydd duwiol a happus. Ac ni feddyliai am fwytta na chysgu, gan gymmaint ei ofal a thristwch ei feddwl oblegid yr hyn a fynegasid iddo; ond ar hyd y nos efe a barhaai yn effro, gan syn-fyfyrio ar y pethau hyn.

Tra 'r ydoedd efe yn yr amgylchiad hwn, Duw a ymddangosodd iddo, gan ei gyssuro a dywedyd, na ddylai anesmwytho wrth yr hyn oedd y lliaws yn ei ofyn; o herwydd nad ei ddirmygu ef, ond diystyru Duw yr oeddynt, yr hwn ni fynnent yn unig frenin arnynt: eu bod yn dyfeisio hyn er y dydd y daethant allan o'r Aipht; er, pa fodd bynnag, ym mhen ychydig o amser y byddai iddynt edifarhau am yr hyn a wnelent, yr hwn edifeirwch, er hynny, ni allai ddadwneud y peth a wnelid fel hyn dros amser a ddaw: y byddai iddynt hwy gael eu ceryddu yn ddigonol am eu dirmyg, a'r ymddygiad anniolchgar a arferasant tu ag atto ef, ac at y swydd brophwydoliaethol: felly yr wyf yn gorchymmyn i ti," eb'r Duwdod, "i ordeinio y fath un ag a enwyf ym mlaen llaw i fod yn frenin iddynt, wedi i ti yn gyntaf ddesgrifio y fath ddrygau a ddwg llywodraeth frenhinol arnynt, a thystiolaethu ar gyhoedd wrthynt y fath gyfnewidiad sydd yn prysur ddyfod ar eu hamgylchiadau".*

Wedi i Samuel wrando hyn, efe a alwodd am yr Iuddewon yn brydlon y boreu nesaf; ac a addefodd ei fod ef i ordeinio brenin arnynt; ond efe a ddywedodd ei fod yn gyntaf i ddangos iddynt yr hyn a ganlynai; pa driniaeth a gaent gan eu brenhinoedd, ac â pha gynnifer o niweidiau yr oeddynt i ymdrechu. "Canys gwybyddwch," eb efe, "yn y lle cyntaf, y cymmerant eich meibion oddi wrthych; a hwy a osodant rai o honynt yn yrrwyr eu cerbydau, a rhai yn wŷr meirch, a gwylwyr eu personau, ac eraill i redeg o'u blaen; a rhai yn dywysogion ar filoedd, a thywysogion ar gannoedd; gosodant hwy hefyd yn gelfyddwyr, yn wneuthurwyr eu harfau a'u cerbydau; ynghyd ag amryw offerynnau: Hwy a'u gwnant hefyd yn llafurwyr iddynt, ac yn wylwyr eu maesydd, a chloddwyr eu gwinllanoedd eu hunain. Ac ni fydd un peth na wnant hwy wrth eu gorchymmyn, megis pe byddai eu deiliaid yn gaethion iddynt wedi eu prynu ag arian. Hwy hefyd a osodant eich merched yn gogesau, ac yn bobyddesau; ac fe orfydd i'r rhai hyn ymarfer â phob math o waith, ag y mae caeth-forwynion ag sydd yn ofni gwialennodau, yn ymostwng iddo. Hwynthwy, heblaw hyn, a gymmerant ymaith eich meddiannau, gan eu rhoddi i'w hefnuchiaid, a gwylwyr eu cyrph, ac a roddant finteioedd eich anifeiliaid i'w gwasanaethwyr eu hunain: ac mewn gair, chwychwi a'r hyn oll sydd gennych, a fydd at wasanaeth eich brenin, ac ni fyddwch mewn un modd yn rhagori ar gaethion. Yn awr, pan brofoch hyn, chwi a gofiwch y peth a ddywedais yn awr wrthych: a phan edifarhaoch am yr hyn a wnaethoch, chwi a attolygwch ar Dduw i drugarhau wrthych, a threfnu i chwi waredigaeth ebrwydd oddiwrth eich brenhinoedd: ond ni dderbyn efe eich gweddiau, ond a'ch esgeulusa, ac a âd i chwi ddioddef y gospedigaeth a haeddodd eich camymddygiadau."

Ond yr oedd y lliaws etto yn fyddar i'r rhagfynegiadau yma am yr hyn a ddeuai arnynt; ac yn rhy amhwyllog i oddef i benderfyniad a wnaethant yn fyrbwyll ac yn annoeth, gael ei symmud o'u meddyliau; canys ni ellid eu troi oddiwrth eu hamcan, ac ni wrandawsant ar eiriau Samuel, ond sefyll yn bendant ar eu bwriadau, a dymuned arno ordeinio brenin arnynt yn ddioed, a pheidio a blino ei hun ynghylch y peth a ddeuai yn ol-llaw; canys yr oedd yn angenrhaid iddynt wrth un i ymladd eu brwydrau, a'u dial ar eu gelynion; ac nad oedd hyn mewn un wedd yn afresymmol, pan oedd eu cymmydogion dan lywodraeth frenhinol, iddynt hwythau fod dan yr un ffurf o lywodraeth hefyd. Felly, pan welodd Samuel nad oedd yr hyn oll a ddywedai efe yn cyfnewid dim ar eu hamcan, ond eu bod yn parhau yn ymroddol, efe a ddywedodd, "Eled pawb o honoch i'w trigfannau yn bresennol, a mi a anfonaf am danoch mor gynted ag y dysgwyf wybod gan Dduw pwy ydyw yr hwn a ddyry efe i chwi yn frenin." †

* 1 Sam. viii. 9.

† 1 Sam. viii. 22.

## PENNOD IV.

*Am osodiad Brenin ar yr Israeliaid, drwy Orchymmyn Duw.*

YR oedd gwr o lwyth Benjamin, yr hwn oedd o deulu da, ac o dueddiad rhinweddol, enw yr hwn oedd Cish. Iddo ef hefyd yr oedd mab, gwr ieuangc o wedd brydferth, ac uchel o faintioli, ond ei feddwl a'i ddealltwriaeth oedd ragorach na'r hyn oedd weledig ynddo, yr hwn a alwent Saul. Yn awr, yr oedd i'r Cish hwn rai assennod, mwy eu gwerth na chyffredin, y rhai a grwydrasant o'u cynnefin le ag yr oeddynt yn porfau ynddo; felly efe a anfonodd ei fab allan, ac un o'r gwasanaethwyr gyd âg ef, i chwilio am yr anifeiliaid. Ond wedi tramwyo drwy randir ei lwyth ei hun ar ol yr assennod, efe a aeth rhagddo at lwythau eraill; a phan na chafodd hwynt ychwaith yno, efe a benderfynodd ddychwelyd yn ol adref, rhag rhoddi anesmwythder i'w dad o'i achos ei hun. Ond ei was a ddywedodd wrtho pan oeddynt yn agos i ddinas Rama, fod gwir brophwyd yn aros yn y ddinas honno; ac a'i cynghorodd i fyned atto ef, oblegid drwyddo ef y caent hyspysrwydd am yr assennod. Saul a attebodd nad oedd ganddynt ddim i roddi iddo fel gwobr am ei brophwydiad, gan fod yr hyn oedd ganddynt at eu cynnal o arian wedi eu treulio: ond y gwas a attebodd, fod ganddo ef yn weddill y bedwaredd ran o sicl,* ac yr anrhegai ef â hwnnw; canys yr oeddynt, o anwybodaeth, yn camsyniad fod y prophwyd yn gwneud derbyniad o'r fath wobrwyon. Felly hwy a aethant atto ef; a phan oeddynt o flaen y pyrth, hwy a gyfarfuant â rhyw forwynion ieuaingc yn myned i dynnu dwfr; a hwy a ofynasant iddynt, Pa le'r oedd tŷ y prophwyd? Dangosasant pa un ydoedd, gan erchi iddynt wneud brŷs, fel y gallent ei weled cyn eistedd o hono i lawr i swppera, oblegid fod amryw wahoddedigion i ddyfod atto ef i wledda, a'i fod ef yn arferol o eistedd i lawr o flaen y rhai a wahoddid. Yn awr, Samuel a gasglasai lawer ynghyd i wledda ar yr unig achos hwn; canys ag efe yn gweddio beunydd ar Dduw, am amlygu iddo pwy a fynnai ei wneud yn frenin; efe a ddywedasai iddo y dydd o'r blaen, yr anfonai ryw wr ieuangc o lwyth Benjamin, ynghylch yr awr yma; ac yr oedd efe yn eistedd ar nenu y tŷ mewn disgwyliad o ddyfodiad yr amser hwnnw: ac wedi cyflawni yr amser efe a ddaeth i lawr, gan fyned i swppera, ac yna y cyfarfu â Saul, a Duw a ddatguddiodd iddo mai hwnnw oedd efe a lywodraethai ar y bobl. Yna Saul a aeth i fynu at Samuel, ac a'i cyfarchodd ef, ac a ddymunodd arno hyspysu iddo pa un oedd tŷ y prophwyd, oblegid ei fod yn ddieithr, ac nad adwaenai ef. Samuel a fynegodd mai efe ei hun ydoedd y gwr, ac a'i dygodd ym mlaen i swppera; gan sicrhau iddo fod yr assennod y rhai y buasai yn ymofyn am danynt, wedi eu cael; a bod y pennaf o bethau daionus yn cael ei sicrhau iddo. Saul a attebodd, "Syr, yr wyf yn rhy ddistadl i obeithio am y cyfryw beth, ac o lwyth rhy fychan i wneud brenhinoedd allan o hono, ac o îs tylwyth nag amryw deuluoedd eraill o hono. Ond ti a ddywedi hyn wrthyf drwy gellwair, ac wyt yn fy ngwneud yn wrthddrych o chwerthiniad, pan wyt yn llefaru wrthyf am uwch matterion nag yr wyf yn sefyll mewn diffyg o honynt." Pa fodd bynnag, y prophwyd a'i dug ef i mewn i'r wledd, ac a wnaeth iddo eistedd i lawr, efe a'r gwas ag oedd yn ei ganlyn, gan ei osod uwchlaw y gwestwyr eraill y rhai a wahoddasid, y rhai oeddynt ddeg a thrugain mewn rhifedi.† Ac efe a barodd i'r gweinyddwyr osod cyfran frenhinol ger bron Saul. Ond wedi dyfod yr amser i fyned i'r gwelyau, y lleill a godasant, ac a aethant bob un i'w cartref-leoedd. Ond Saul a'i weinidog a arosasant gyd â'r prophwyd, ac a orweddasant yno.

* [illegible] gamsyniad yma o eiddo Saul a'i was, megis pe buasai gwir brophwyd i Dduw yn derbyn rhoddion neu anrhegion am ragfynegi yr h[illegible]n a ddeisyfid ganddo, gwel nod ar IV. 6.

† Fe ymddengys n[illegible]d yn annhebygol am y 70 hyn o wahoddedigion Samuel, megis y crybwyllir yma ac yn y Septuagint am danynt, gyd ag ef ei hun uwch eu pennau, mai y Sanhedrim Iuddewig oeddynt; ac oddiwrth hynny ddarfod i Samuel arwyddo i Saul, mai'r 71 hyn a fyddai ei gynghorwyr gwastadol: ac na fyddai iddo weithredu fel unbennaeth pendant, ond gyd â chyngor a chyfarwyddyd y 71 aelodau y Sanhedrim Iuddewig ar bob achosion, y rhai nid ydym yn darllen iddo ymgynghori â hwynt byth yn ol hynny.

Mor fuan ag yr aeth yn ddydd, Samuel a alwodd Saul i gyfodi, gan ei dywys rhyngddo ag adref; a phan oeddynt wedi myned allan o'r ddinas, efe a ddymunodd arno beri i'w was fyned yn y blaen, ond ei hunan i aros ychydig ar ol, o herwydd fod ganddo ef ryw beth i'w ddywedyd wrtho, pan na byddai neb arall yn bresennol. Yn ganlynol, Saul a anfonodd ymaith ei was ag oedd gyd ag ef.* Yna y prophwyd a gymmerodd phiolaid o olew, ac a'i tywalltodd ar ben y gwr ieuangc, ac a'i cusanodd; gan ddywedyd, "Bydd di yn frenin yn ol ordinhad Duw, yn erbyn y Philistiaid, i ddial yr Hebreaid arnynt, am yr hyn a ddioddefasant drwyddynt. O hyn tydi a gai arwydd, pa un a ddymunwn i ti wneud sulw o honi. Mor gynted ag yr elych oddi yma, ti a gyfarfyddi â thri o ddynion ar y ffordd, yn myned i addoli Duw yn Bethel: y cyntaf a ganfyddi yn dwyn gyd ag ef dair torth o fara; yr ail yn dwyn mynn o'r geifr; a'r trydydd a'u dilyn hwynt a ddug gostrelaid o win. Y gwŷr hyn a'th gyfarchant di, ac a lefarant yn garedig wrthyt, ac a roddant attat ddwy o'u torthau, y rhai a dderbynni; ac yna y deui i le a elwir Colofn Rachel, pa le y cyfarfyddi â rhai a ddywedant fod yr assennod wedi eu cael: ar ol hyn, pan ddeui i Gabatha, tydi a gyfarfyddi â chymdeithas o brophwydi; a thi a oddiweddir â'r dwyfol yspryd,† ac a brophwydi gyd â hwynt, nes i bob un a'th welo synnu a rhyfeddu, a dywedyd, O ba le y daeth fod i fab Cish gyrraeddyd y radd hon o ddedwyddwch? Ac wedi i'r arwyddion hyn ddigwydd i ti, gwybydd fod Duw gyd â thi; yna dos dithau a chyfarch dy dad a'th garennydd. Ti a ddeui hefyd pan anfonwyf am danat i Gilgal, fel yr offrymom offrwm o ddiolchgarwch i Dduw am y bendithion hyn." Wedi i Samuel ddywedyd hyn, efe a anfonodd y gwr ieuangc ymaith: a phob peth a droes allan i Saul yn gyttûn â phrophwydoliaeth Samuel.

Ond mor gynted ag y daeth Saul i dŷ ei gâr Abder, efe a ofynodd iddo ymherthynas i'w daith, a pha ddamweiniau a ddigwyddasai iddo yn yr unrhyw; ac ni's cuddiodd un peth arall rhagddo, ïe, ei ddyfodiad at Samuel y prophwyd, na 'r modd ag y dywedodd gael yr assennod: ond ni chrybwyllodd ddim am y deyrnas,‖ na 'r hyn a berthynai iddi: yr hyn a feddyliodd efe a barai genfigen tu ag atto; a phan fynegir y cyfryw bethau nid hawdd y credir hwynt. Ac ni chyfrifodd yn gallineb fynegi 'r pethau hyn iddo, er ymddangos o hono yn dra chyfeillgar, ac un a garai uwchlaw eraill o'i berthynasau; gan ystyried, mae 'n debygol, yr hyn yw y natur ddynol; nad oes cyfaill sylweddol i'w gael, ymmysg ein cymdeithion na 'n cyfnesafiaid; ac na 's medrant gadw tymmer garedig tu ag at y rhai hynny a ddyrchefir gan Dduw i fawr lwyddiant; ond y maent fyth yn ddrwg eu naturiaeth ac yn genfigennus wrth y rhai a osodir mewn sefyllfa anrhydeddus.

Yna Samuel a alwodd y bobl ynghyd i ddinas Mispeh, ac a lefarodd wrthynt drwy orchymmyn Duw, yn y geiriau canlynol: "Pan ganiattaodd Duw i chwi rydd-lywodraeth, a dwyn eich gelynion dan ymostyngiad i'ch awdurdod, chwi a aethoch yn anystyriol o'i roddion, gan ei wrthod ef, fel na byddai yn frenin arnoch; heb ystyried pa fawr fantais a fuasai i chwi fod dan ragweliad y Bod goreu, canys y cyfryw un ydyw Duw: ond chwi a ddewisasoch ddyn yn frenin; er arfer o frenhinoedd eu deiliaid fel anifeiliaid, yn ol trais dueddrwydd eu hewyllysiau eu hunain, megis wedi eu gorchfygu â chwant i awdurdod: ond ni ymdrechant i wneud lleshâd i ddynolryw, a gofalu am eu daioni fel eu teulu eu hunain; y rhai oblegid y rheswm hwnnw a fynnai Duw gymmeryd eu gofal. Wedi i chwi, pa fodd bynnag, ddyfod i'r fath benderfyniad; ac i'r ymddygiad anniolchgar yma tu ag at Dduw gael y fath awdurdod arnoch, trefnwch eich hunain yn ol eich llwythau, a bwriwch goelbrennau."

Yn ol i'r Hebreaid wneuthur felly, y coelbren a syrthiodd ar lwyth Benjamin; a phan fwriwyd y coelbren ar deuluoedd y llwyth hwn, yr un hynny a elwid Matri a gymmerwyd; ac

* 1 Sam. ix. 27. † Siampl o'r ysprydol orphwylldra hwn sydd gennym ar ol hyn yn Saul, 1 Sam. xi. 27. Gwelwch y cyffelyb Barn. iii. 10. vi. 4. xi. 29. xiii. 25. xiv. 6. ‡ 1 Sam. x. 16.

wedi bwrw 'r coelbren ar bersonau neillduol y teulu hwnnw, Saul fab Cish a gymmerwyd i fod yn frenin arnynt. Wedi i'r gwr ieuangc ddeall hyn, efe a ragflaenodd eu hanfoniad am dano, gan ymado ymaith yn ebrwydd ac ymguddio ei hun. Hyn mae 'n debygol ydoedd, fel na feddylid ei fod yn ewyllysgar i gymmeryd y llywodraeth arno. Ië, efe a ddangosodd y fath lywodraeth oedd ganddo arno ei hun, a chymmedroldeb, fel tra mae y rhan fwyaf yn analluog i gynnwys eu llawenydd, ïe, ar yr olwg o fanteision bychain, hwy yn y fan a ddangosant eu hunain yn gyhoeddus i bawb. Ni ddangosodd y gwr hwn ynddo un peth o'r natur hynny; wedi ei appwyntio i fod yn arglwydd ar gynnifer, ac ar lwythau mor fawr, efe a giliodd i ffordd, gan ymguddio ei hun oddiwrth y rhai yr oedd i lywodraethu arnynt, gan wneud iddynt ymofyn am dano gyd â llawer o boen. Felly pan oedd y bobl mewn gofid ac yn derfysglyd oblegid anymddangosiad Saul; y prophwyd a wnaeth ei erfyniau at Dduw am ddangos pa le yr oedd y dyn ieuangc, a'i ddwyn ger bron y bobl. Felly pan wybuant am y lle ym mha un yr oedd Saul yn guddiedig, danfonasant wŷr i'w gyrchu ef; ac wedi ei ddyfod, hwy a'i gosodasant ynghanol y lliaws. Yna yr oedd efe yn uwch na hwynt oll, a mawrhydi rhagorol i'w ganfod yn ei ymddygiad.

Yna y dywedodd y prophwyd, "Duw sydd yn trefnu y dyn hwn i fod yn frenin i chwi. Gwelwch y modd y mae 'n uwch na 'r holl bobl, ac yn deilwng o'r arglwyddiaeth hon."* Felly, mor fuan ag y llefodd y bobl allan, "Duw a gadwo 'r brenin," y prophwyd a ysgrifennodd i lawr yr hyn a ddeuai o amgylch, mewn llyfr, ac a'i darllenodd yngnghlywedigaeth y brenin, ac a osododd y llyfr heibio yn nhabernacl Duw, i fod yn dystiolaeth mewn amser i ddyfod o'r hyn a ragddywedasai efe. Felly wedi i Samuel orphen y gwaith, efe a ollyngodd ymaith y dyrfa; ac a aeth ymaith i ddinas Ramah, yn ei wlad ei hun. Saul hefyd a aeth i Gibeah, ym mha le y ganesid ef, a llawer o wŷr da a ddangosasant y parch ag oedd ddyledus iddo; ond y rhan fwyaf oedd ddynion drygionus, y rhai a'i dirmygasant ef; a'r rhai ni ddygasant anrhegion iddo, ac ni cheisiasant mewn geiriau na gweithredoedd ei foddhau ef.

## PENNOD V.

*Am ymgyrch Saul yn erbyn Cenedl yr Ammoniaid, a'i hollawl fuddugoliaeth arnynt.*

AR ol myned un mis drosodd, y rhyfel a fu rhwng Saul a Nahas brenin yr Ammoniaid, a ynnillodd iddo glod mawr gan yr holl bobl. Canys y Nahas hwn a wnaethai lawer o ddrygau i'r Iuddewon oedd yn byw tu hwnt i'r Iorddonen, wrth yr ymgyrch a wnaeth i'w herbyn â byddin luosog. Efe hefyd a ddarostyngodd eu dinasoedd dan gaethiwed, a hynny nid yn unig dros yr amser presennol, yr hyn a wnaeth drwy orfod a thrais, ond eu gwanhau drwy ddichell a chyfrwysdra, fel na allent rhagllaw adferu eu hunain o'u caethiwed; canys efe a dynnodd lygaid † dehau y rhai a roddent eu hunain i fynu ar ammodau iddo ef, neu a gymmerid ganddo mewn rhyfel; a hyn a wnaeth, fel pan orchuddid y llygad chwith â'r darian, y byddent yn hollawl ddiddefnydd mewn rhyfel. Yn awr, wedi i frenin yr Ammoniaid wneuthur â'r rhai tu hwnt i'r Iorddonen yn y modd hwn; efe a arweiniodd ei luoedd yn erbyn y rhai a elwid yn Gileadiaid; ac wedi gwersyllu yn eu prifddinas, yr hon ydoedd y ddinas Jabes, efe a anfonodd gennadwyr attynt, gan orchymmyn iddynt un ai rhoddi eu hunain i fynu ar yr ammodau o gael tynnu eu llygaid dehau; neu ddioddef gwneuthur cyullwyn a dadymchwelyd eu dinasoedd. Efe a roddes eu dewisiad iddynt, pa un a fynnent dorri ymaith ran fechan o'u cyrph, neu gael eu hollol ddifetha. Pa fodd bynnag, y Gileadiaid a ddychrynwyd gymmaint â'r cynnygiadau hyn, fel nad oedd ganddynt galondid i ddywedyd un peth ymherthynas iddynt; pa un a roddent eu hunain i fynu, neu a ymladdent. Ond hwy a ddymunasant arno

* 1 Sam. x. 24.

† Cymmerwch nod Theodoret, a grybwyllir gan Dr. Hudson; "Yr hwn sy'n dal ei darian i fyne gyferbyn a'i elynion â'i law chwith, y mae wrth hynny yn cuddio ei lygad chwith, ac yn edrych ar y gelynion â'i lygad dehau. Y neb gan hynny a dynno y llygad dehau sy 'n gwneud dynion yn ddiddefnydd mewn rhyfel."

roddi iddynt saith niwrnod o amser i ystyried y gennadwri: a'u hamcan yn hynny oedd danfon cennadwyr at eu cydwladwyr, i ddeisyf cynnorthwy: ac os deuent hwy yn gymmorth iddynt yr ymladdent; ond os oedd yn amhossibl cael cynnorthwy ganddynt, y byddai raid iddynt roddi eu hunain i fynu i wneud â hwynt fel yr ewyllysiai 'r gelyn.*

Nahas, gan ddirmygu lliaws y Gileadiaid, a'r atteb a roisant, a ganiattaodd amser iddynt, i anfon at y sawl a fynnent am gynnorthwy. Felly danfonasant yn ddioed at yr Israeliaid, o'r naill ddinas i'r llall, gan hyspysu iddynt yr hyn a fygwthiasai Nahas ei wneuthur, a'r fath gyfyngder mawr yr oeddynt ynddo. Yna y bobl a gwympasant i dywallt dagrau ac i ofidio wrth wrando yr hyn a ddywedai y cennadwyr o Jabes; a'r dychryn yr oeddynt ynddo ni chaniattaodd iddynt wneuthur dim yn ychwaneg. Ond wedi i'r cennadwyr ddyfod i ddinas y brenin Saul, a datgan y perygl yr oedd preswylwyr Jabes ynddo, yr oedd y bobl yn y cyffelyb drallod a'r dinasoedd eraill; canys wylasant dros gyfyngder y rhai a adroddid am danynt. Ac wedi i Saul ddychwelyd o'i hwsmonaeth i'r ddinas, efe a gafodd ei gyd-ddinasyddion yn wylo; a phan, wedi ymofyn, a gwybod yr achos o'u cynnwrf, a'r tristwch yr oeddynt ynddo, efe a oddiweddwyd â dwyfol orphwylldra neu lidiowgrwydd; gan anfon ymaith y cennadwyr oddiwrth drigolion Jabes, gan addaw y trydydd dydd ddyfod yn gymmorth iddynt, a churo eu gelynion cyn codiad haul; fel y byddai i'r haul, ar ei gyfodiad, weled eu bod hwy eisoes wedi buddugoliaethu, a'u rhyddhau oddiwrth yr ofnau yr oeddynt danynt. Ond efe a barodd i rai o honynt aros i'w dywys ar hyd yr uniawn ffordd i Jabes.

Felly, ac efe'n dymuno annog y bobl i'r rhyfel hwn yn erbyn yr Ammoniaid, drwy arswyd y colledion a ddioddefent, os amgen; ac fel y casglid hwy ynghyd yn fwy ebrwydd, efe a dorrodd gewynnau ei ychain, gan fygwth gwneud yr un peth â'r rhai oll na ddeuent a'u harfogaeth i'w gyfarfod at yr Iorddonen y dydd nesaf, a'i ganlyn ef a Samuel y prophwyd i ba le bynnag yr arweinid hwynt. Felly hwy a ddaethant ynghyd rhag ofn y colledion â pha rai y bygythid hwynt, erbyn yr amser appwyntiedig; a'r lliaws a rifwyd yn ninas Bezec. Ac efe a gafodd rifedi y rhai a ymgasglasant, heblaw y rhai o lwyth Judah, yn saith gan mil; ac yr oedd o'r llwyth hwnnw ddeng mil a thrugain. Felly efe a aeth dros yr Iorddonen ac a ymdeithiodd yn mlaen gyd â'i luoedd yr holl nos honno ynghylch deg ar hugain o 'stadau, a hwy a ddaethant i Jabes cyn codiad haul. Felly, efe a wahanodd y fyddin yn dair rhan, ac a syrthiasant yn ddisymmwth ar warthaf y gelynion, ac yn annisgwyliadwy i bob ochr; a chan ymgyssylltu brwydr â hwynt, hwy a laddasant nifer mawr o'r Ammoniaid, ynghyd a Nahas eu brenin. Y frwydr ragorol yma a ynnillwyd gan Saul, ac a adroddwyd am dani gyd â boddlonrwydd mawr i'r Hebreaid: ac oddi yno y cafodd gymmeradwyaeth mawr oblegid ei wrolder. Canys er bod rhai yn ei ddiystyru o'r blaen, yn awr hwy a gyfnewidiasant eu meddyliau, gan ei anrhydeddu a'i barchu fel y goreu o ddynion. Canys ni foddlonodd efe ei hun ar achubiaeth preswylwyr Jabes yn unig, eithr efe a wnaeth ymgyrch i wlad yr Ammoniaid, gan ei dodi oll yn anghyfannedd, a chymmeryd ysglyfaeth lawer; ac yna a ddychwelodd i'w wlad ei hun yn fuddugoliaethus a gorfoleddus. Felly y bobl a foddlonwyd yn fawr â'r cyflawniadau hyn o eiddo Saul, ac a lawenychasant o herwydd iddynt ei osod yn frenin arnynt. Hwy hefyd a godasant achwyniaeth yn erbyn y rhai a haerent, na fyddai o un fantais neu leshad i'w hachosion gwladwriaethol hwy; a dywedasant, "Pa le yn awr y mae 'r dynion hynny? dyger hwy dan gospedigaeth:"† gyd â llawer o'r fath bethau y mae 'r torfeydd yn arferol o ddywedyd, pan eu dyrchafer gan lwyddiant, yn erbyn y rhai yn ddiweddar a ddirmygai 'r awdwyr o hono. Ond Saul, er cymmeryd o hono ewyllys da a serchowgrwydd rhai tu ag atto yn garedig, a dyngodd na fynnai weled neb o'i gydwladwyr

* 1 Sam. xi. 3.

† 1 Sam. xi. 12.

yn cael eu rhoddi y dydd hwnnw i farwolaeth, pan fyddai yn waradwydd i gydgymmysgu y fuddugoliaeth a roddasai Duw iddynt, â lladdiadau o rai ag oedd o'r un achau a hwy eu hunain; a bod yn fwy cymmwys iddynt ymddwyn yn gyfeillgar tu ag at eu gilydd y pryd hynny, a pharottoi eu hunain i wledda.

Wedi i Samuel draethu wrthynt y dylent gadarnhau y deyrnas i Saul, drwy ail ordeiniad o hono, hwy a ddaethant oll ynghyd i ddinas Gilgal; canys yno y gorchymmynodd iddynt ddyfod.* Felly y prophwyd a enneiniodd Saul â'i olew sanctaidd, yngolwg y llïaws, ac a gyhoeddodd yr ail waith ei fod yn frenin. Felly llywodraeth yr Hebreaid a droes yn llywodraeth frenhinol. Canys yn nyddiau Moses, a'i ddisgybl Joshua, yr hwn oedd flaenor eu llu, yr oeddynt yn aros dan bendefigol lywodraeth. Ond ar ol marwolaeth Joshua, dros ddeunaw† mlynedd oll, nid oedd un ffurf llywodraeth sefydlog ym mhlith y llïaws, ond a oeddynt yn agored i annhrefn. Yn ol hyn hwy a ddychwelasant at eu llywodraeth flaenorol; pa amserau yr oeddynt yn rhoddi eu hunain i'w barnu gan y rhai a ymddangosai yn rhyfelwyr goreu, ac yn perchen mwyaf o wrolder: o ba herwydd y gawlasant y cyfwng yma yn llywodraeth y Barnwyr.

Yna Samuel a alwodd dyrfa arall ynghyd, ac a ddywedodd wrthynt, "Yr wyf o ddifrif yn eich tynghedu drwy 'r Hollalluog Dduw, yr hwn a ddug y brodyr rhagorol hynny i'r byd, fy meddwl yw Moses ac Aaron, ac a waredodd ein tadau oddiwrth yr Aiphtiaid, ac oddiwrth y caethiwed a ddioddefasant danynt, na lefaroch yr hyn a ddywedoch er mwyn fy moddloni i, nac attal un peth rhag fy ofn i, ac na orfydder chwi gan un dymmer arall; ond tystiolaethwch pa beth a wnaethum un amser ag a ymddangosodd yn greulon neu yn anghyfiawn? neu pa beth a weithredais oddi ar ddymuniad i gyfoeth neu gybydd-dra, neu i foddhau eraill? Dygwch dystiolaeth i'm herbyn os cymmerais ŷch, neu ddafad, neu unrhyw beth o'r cyffelyb; yr hyn pan gymmerer i gynnal bywyd dynion, a gyfrifir yn ddifeius. Neu a gymmerais assyn i'w ddefnyddio i mi fy hun, oddiar neb er niweid iddo. Gosodwch ryw fai i'm herbyn, yn awr tra 'r ydym ymhresennoldeb eich brenin. Ond hwy yn un llais a lefasant, na wnaethid dim o'r fath beth ganddo, ond bod ei ragwelediad dros y genedl yn ol dull sanctaidd a chyfiawn.

Wedi i'r dystiolaeth hon gael ei rhoddi ganddynt, Samuel a ddywedodd, "Gan eich bod oll yn caniattau eich anallu i osod un bai hyd yma yn fy erbyn, deuwch yn awr a gwrandewch, tra y llefarwyf gyd â rhyddid mawr wrthych. Chwi fuoch yn euog o droseddiad mawr yn erbyn Duw, yn gofyn i chwi frenin. Fe weddai i chwi gofio, fyned ein hendad Jacob i wared i'r Aipht o herwydd y newyn, gyd â deg a thrugain o eneidiau o'n perthynas ni; a darfod i'w hiliogaeth gynnyddu yno yn llawer degau o filoedd, y rhai a ddug yr Aiphtiaid dan gaethiwed, a gorthrymder caled: a darfod i Dduw ei hun, drwy weddiau ein tadau, ddanfon Moses ac Aaron, y rhai oeddynt frodyr, gan roddi iddynt awdurdod i waredu y llïaws o'u cyfyngder, a hynny heb frenin. Y rhai hyn a'n dug ni i'r tir yma yr ydych yn awr yn ei feddiannu. Ac wedi i chwi fwynhau y manteision hyn gan Dduw, darfu i chwi fradychu ei addoliad a'i grefydd: ïe, pan ddygwyd chwi dan ddwylaw eich gelynion, efe a'ch gwaredodd chwi, yn gyntaf drwy wneuthur i chwi ragori ar yr Assyriaid, a'u lluoedd; yna efe a barodd i chwi orchfygu 'r Ammoniaid, a'r Ammoriaid, ac yn ddiweddaf oll y Philistiaid. A'r pethau hyn a ynnillwyd dan dywysiad Jeptha a Gideon. Pa wallgofrwydd, gan hynny, a'ch meddiannodd chwi, i beri i chwi ffoi oddiwrth Dduw, ac ewyllysio bod dan frenin? etto myfi a ordeiniais yn frenin yr hwn a ddewisodd Duw i chwi. Pa fodd bynnag, fel y gwnelwyf yn amlwg i chwi fod Duw yn ddig ac yn anfoddlon i'ch dewisiad o lywodraeth frenhinol, bydd i mi alw arno yn y fath fodd fel y dangoso i chwi drwy arwyddion dieithr, y cyfryw beth na's gwelsoch yma o'r

* 1 Sam. xi. 14.

† O'r Fl. 1467 hyd 1449. c. c.

blaen; fy meddwl yw, am dymmestl auaf * yng-hanol cynhauaf, yr hyn a ddeisyfaf gan Dduw ei wneuthur yn weledig i chwi." Yn awr, mor gynted ag y dywedodd hyn, Duw a ddangosodd y fath arwyddion dieithr, drwy daranau a mellt, a disgyniad cenllysg, ag a dystiodd wirionedd yr holl bethau a fynegodd y prophwyd; † yn gymmaint a pheri 'r fath syndod a dychryn ynddynt fel y cyffesasant bechu o honynt, a syrthio o honynt i'r pechod hwnnw drwy anwybodaeth; gan ddeisyf ar y prophwyd, megis un ag oedd dad tyner a thosturiol, i erfyn ar Dduw fod mor dugarog a thosturiol ag i faddeu eu pechod hwn, pa un a chwanegasant at eu holl droseddau eraill, drwy ba rai y digiasant ef, ac y gwrthryfelasant yn ei erbyn. Felly efe a addawodd attolygu ar Dduw, a'i berswadio i faddeu eu pechodau. Pa fodd bynnag efe a'u cynghorodd hwynt i arfer cyfiawnder, ac hefyd i goffa 'r trueni a ddaethai arnynt ar gyfrif eu hymadawiad oddiwrth fywyd rhinweddol; a chofio hefyd yr arwyddion dieithr a ddangosasai Duw, a chorph o gyfreithiau a draddododd Moses iddynt, os oedd ganddynt ddim dymuniad i gael eu diogelu a'u gwneud yn happus gyd â'u brenin. Ond efe a ddywedodd, os tyfent yn ddiofal am y pethau hyn, y deuai barnedigaethau mawrion oddiwrth Dduw arnynt hwy a'u brenin. Ac yn ol i Samuel brophwydo y modd hwn i'r Hebreaid, efe a'u gollyngodd ymaith i'w cartrefi eu hunain, wedi sicrhau y deyrnas i Saul yr ail waith.

## PENNOD VI.

*Am ymgyrch y Philistiaid yn erbyn yr Hebreaid, ynghyd a'u haflwyddiant yn yr unrhyw.*

YN awr ‡ Saul a ddewisodd allan o'r lliaws ynghylch tair mil o wŷr, ac a gymmerodd ddwy fil o honynt i fod yn wylwyr corphorol, ac a drigodd yn ninas Bethel; ond efe a roddodd y rhan arall yn wylwyr i Jonathan ei fab, gan eu hanfon i Gibeah, lle y cynllwynodd ac y cymmerodd ryw amddiffynfa berthynol i'r Philistiaid, heb fod ym mhell o Galgal. § Canys y Philistiaid o Gibeah a gurasent yr Iuddewon, ac a gymmerasent ymaith eu harfogaeth, ac a osodasent wersylloedd yn y lleoedd cedyrn drwy 'r wlad; gan wahardd iddynt ddwyn gyd â hwynt un offeryn haiarn, a pheidio gwneuthur defnydd o haiarn mewn un peth pa bynnag. Ac ar gyfrif y gwaharddiad yma yr oedd, os byddai ar y llafurwyr achos am hogi neu flaenllymmu rhai o'u harfau, pa un bynnag a fyddai ai cwlltwr, ai pâl, neu ryw offerynnau hwsmonaeth eraill, fod iddynt fyned at y Philistiaid i wneuthur hynny. Yn awr, mor gynted ag y clybu y Philistiaid am laddiad eu gwersyll, yr oeddynt mewn cynddeiriogrwydd o'i blegid; a chan edrych ar y weithred hon fel sarhad neu ammharch ofnadwy iddynt, hwy a wnaethant ryfel â'r Iuddewon, gyd â thri chan' mil o wŷr traed, trugain mil o gerbydau, a chwe' mil o feirch; a hwy a wersyllasant yn ninas Micmas.‖ Pan wnaethpwyd Saul, brenin yr Hebreaid, yn hyspys o hyn, efe a aeth i wared i ddinas Gilgal, gan anfon cyhoeddiad drwy 'r holl wlad, fod yn ddyled arnynt ymdrechu i ail-ynnill eu rhyddid, ac ymuno mewn rhyfel yn erbyn y Philistiaid; drwy ddiddymmu eu byddinoedd, a dirmygu eu hamldra, megis heb fod yn ormod i gynnyg ymladd â hwynt. Ond wedi i'r bobl o amgylch Saul ddal sulw ar liosowgrwydd y Philistiaid, yr oeddynt dan ofn a dychryn mawr; a rhai o honynt a ymguddiasant mewn ogofeydd a ffauau dan y ddaear: ond y rhan fwyaf a ddiangasant i'r wlad tu draw i'r Iorddonen, a berthynai i Gad a Reubel.

Ond Saul a ddanfonodd at y prophwyd, i

---

* Y mae Mr. Reland yn sylwi yma, ac yn profi mewn lleoedd eraill, yn ei nod ar III. 1, er fod taranau a mellt yn arferol o ddigwydd gyd â nyni yn yr haf, etto yn Palestina a Syria y maent yn bennaf yn cael eu terfynu i'r gauaf. Y mae Josephus yn sylwi ar yr un pethau drachefn yn Hanesiad y Rhyfeloedd, IV. 4. Gwel hefyd Hynaf. II. 14.

† 1 Sam xii. 18. ‡ Mae Josephus yn gadael ar ol eiriau cyntaf yr hanes hwn; megis ag y mae y Septuagint, 1 Sam. xiii. 1. Mae 'r testun yn rhedeg y modd yma yn yr Hebraeg bresennol; Saul ydoedd—1 blynyddoedd o oedran pan ddechreuodd deyrnasu, ac efe a deyrnasodd 2 o flynyddoedd. Pa le yn un, os nid yn y ddau y mae 'r degau yn eisiau. Ac nid yw gymmwys dyfesio gwag esgusodion, neu hir-gyrhaeddiad ddeonglau, mewn trefn i ochelyd y fath anhawsderau, megis y darfu i'r dysgedig a'r union-farn Dr. Wall fynych sylwi yn ei dra gwerthfawr a manylaidd nodau ar yr Hen Destament a'r Newydd. Os yw'r testun mewn un wedd yn briodol, gellid ei ysgrifennu ar y cyntaf fel hyn: Saul ydoedd 21 neu 31 mlynedd o oedran pan ddechreuodd deyrnasu, a theyrnasodd 2 flynedd.

§ Hon ydoedd Galgai wrth Micmas a Bethel, nid y Galgal neu Gilgal hynodfawr gerllaw Jericho. ‖ 1 Sam. xiii. 15.

gael ymgynghori ag ef ynghylch y rhyfel, a'r achosion cyffredin. Felly y prophwyd a archodd iddo aros yno am dano ef, ac arlwyo aberthau; oblegid y deuai efe atto ym mhen y saith niwrnod, fel yr offrymment aberthau ar y seithfed dydd, ac yna myned i ymladd â'u gelynion. Felly efe a arosodd fel y parasai y prophwyd iddo. Etto ni sylwiodd ar y gorchymmyn a roddasid y modd y dylai: ond pan welodd y prophwyd yn aros yn hwy na'i ddisgwyliad, a'i fod yn cael ei adael gan y milwyr; efe a gymmerodd yr aberthau ac a'u hoffrymmodd hwynt.* Yn y cyfamser efe a glybu am ddyfodiad Samuel, ac a aeth allan i'w gyfarfod ef. Ond y prophwyd a ddywedodd na wnaethai yn iawn wrth anufuddhau i'r rheol a roddasai iddo, a pheidio disgwyl hyd ei ddyfodiad ef atto; yr hyn gan ei appwyntio yn ol ewyllys Duw, yr oedd wedi ei luddias ef i offrymmu y gweddiau a'r aberthau hynny a ddylasai efe wneuthur dros y lliaws; a'i fod ef, gan hynny, wedi cyflawni dwyfol swyddau yn fyrbwyll, ac mewn trefn anweddaidd. Ar hyn Saul a wnaeth amddiffyniad o hono ei hun, ac a ddywedodd, ei fod wedi aros cynnifer o ddyddiau ag oedd Samuel wedi appwyntio; a darfod iddo offrymmu'r aberthau gyd â'r fath frys ar gyfrif yr angenrheidrwydd oedd arno, ac oblegid fod ei filwyr yn diangc oddiwrtho, drwy ddychryndod ar yr olwg o wersyll y gelynion yn Micmas, a'r son oedd wedi myned o amgylch eu bod yn dyfod i'w gorddiwes hwynt yn Gilgal. Samuel a attebodd, "Nag ê yn sier, pe buasit ddyn cyfiawn, † ac heb anufuddhau i mi, na diystyru'r gorchymmynion a draddododd Duw i mi, ymherthynas i amgylchiad presennol y cyffredin, a pheidio gweithredu gyd â mwy o frys nag oedd yr achos yn gofyn, fe ganiattasid i ti hir deyrnasiad, a'th hiliogaeth ar dy ol." ‡ Felly Samuel, wedi gofidio am yr hyn a ddigwyddasai, a ddychwelodd adref. Ond Saul a ddaeth i ddinas Gibeah, gyd â'i fab Jonathan, a chwe' chant o wŷr yn unig gyd ag ef; ac o'r rhai hyn y rhan fwyaf oeddynt heb arfau, o herwydd prinder haiarn yn y wlad honno, yn gystal ag o'r rhai a fedrent eu gwneuthur: canys fel y dangosasom ychydig o'r blaen, ni oddefai'r Philistiaid iddynt gadw'r fath arfau yn eu meddiant, na'u gwneuthurwyr. Yn awr, y Philistiaid a wahanasant eu byddin yn dair rhan, § ac a gymmerasant i bob un gynnifer o ffyrdd, gan anrheithio gwlad yr Hebreaid; tra'r oedd Saul a'i fab Jonathan yn gweled yr hyn a wnaethid, ond heb allu amddiffyn y tir; gan nad oedd ychwaneg na chwe' chant o wŷr gyd â hwynt. Ond fel yr oedd efe a'i fab, ac Ahia yr archoffeiriad, yr hwn oedd o hiliogaeth Eli, yn eistedd ar fryn uchel, ac yn edrych ar y tir wedi ei anrheithio, yr oeddynt yn drallodedig iawn

* Saul a ymddengys fel wedi aros yn agos i amser yr hwyrol aberth, ar y seithfed dydd, yn ol appwyntiad Samuel, ond nid hyd ddiwedd y dydd hwnnw megis y dylasai wneuthur: ac mae Samuel yn ymddangos, wrth oedi ei ddyfodiad hyd lawn bryd yr aberth hwyrol y dydd hwnnw, megis yn ei brofi ef, (yr hwn a arwyddodd ei fod eisoes er's rhyw amser yn encilio oddiwrth fanylrwydd ei ymostyngiad i Dduw, ac i'w brophwyd ef; gan gymmeryd iddo ei hun wylwyr bywyd, ac i'w fab ef, yr hyn oedd beth hollol newydd yn Israel, ac oedd yn archwaethu o anymddiried yn Nuw, a'i ragluniaeth, a chwennychu yn fwy nag a ddylasai yr awdurdod anymddibynnol a gymmerai y brenhinoedd Paganaidd iddynt eu hunain:) Samuel, meddaf, a ymddengys yma fel am brofi Saul, pa un a arhosai efe hyd ddyfodiad yr offeiriad, yr hwn yn unig a allai yn gyfreithlon offrymmu yr aberthau; neu a anturiai gyd â hyfdra a rhyfyg gyflawni y swydd offeiriadol ei hun; yr hyn gan iddo ei wneuthur, efe yn gyfiawn a wrthodwyd am ei halogedigaeth. Gwel Gosod. Apost. II. 27. Ac yn wir wedi i Saul wneud derbyniad o'r awdurdod frenhinol, yr hon o naturiaeth sy'n tyfu yn anilywodraethus ac yn orthrymol, megis yr oedd Duw wedi rhagddywedyd, a phrofiad pob oesoedd yn dangos. Buasai'r sefydliad dwyfol gan Moses wedi ei adael o'r neilldu dan frenhinoedd, pe na buasai i Dduw, wrth gadw yn fanwl at ei gyfreithiau, a llym gyflawni ei fygythion cynnwysedig ynddynt gadw Saul a brenhinoedd eraill mewn rhyw raid o ufudd-dod iddo ei hun. Ac nid oedd y llymdra neu'r tostrwydd yn ddigonol i attal y rhan fwyaf o frenhinoedd Israel a Judah a ddaeth ar ol, oddiwrth yr eilun-addoliaeth a'r didduwiaeth pennaf. Y fantais o'r fath fanyldra drwy ufudd-dod i'r cyfreithiau dwyfol, a chyfiawni eu cospedigaeth fygythiol, gwel Hynaf. VI. 12. lle y mae Josephus yn son am y matter hwnnw. Er ei fod yn ymddangos o leiaf mewn tri o siamplau, nad oedd dynion da bob amser yn cydfyned yn union-gyrch â'r fath dostrwydd neu ddwyfol farnedigaethau. Fe ymddengys fod un siampl, 1 Sam. vi. 19, 20. Un arall 1 Sam. xv. 11. a'r drydedd, 2 Sam. vi. 8. 9. Hynaf. VI. 7: er eu bod oll yn y diwedd yn ymfoddloni i ddwyfol drefniad, gan wybod fod Duw ym mhob peth yn ddoethach na dynion.

† Wrth yr attebiad hwn o eiddo Samuel, a hynny drwy ddwyfol orchymmyn, yr hwn sydd helaethach yn 1 Sam. xiii. 14. ac oddiwrth nod cyffelyb iddo yn y Gosod. Apost. yn ddiweddar a gryhwyllwyd, ymherthynas i fai cywilyddus Saul yn anturio, ie dan angenrheidrwydd ymddangosiadol o bethau, i ryfygu cyflawni y swydd offeiriadol, ac offrymmu aberthau heb offeiriad, yr ydym mewn rhyw radd yn alluog i atteb y cwestiwn hwnnw, yr hwn a dybiais bob amser yn un tra anhawdd; sef, Pa un ai bod dinas neu wlad o Gristionogion heb eglwyswyr yn eu mysg, ac a fyddai'n gyfreithlon iddynt fedyddio neu weini y sacrament, &c. neu yn wir, pa un a allent hwy eu hunain ordeinio iddynt esgobion, offeiriaid, neu ddiaconiaid, i iawn gyflawni gweinidogaethau offeiriadol; neu pa un ni ddylent yn hytrach, hyd oni allont gael eglwyswyr i'w mysg, i gadw eu hunain o fewn y terfynau o dduwioldeb a Christionogrwydd ag sy'n berthynol yn unig i'r lleygion, neu Gristionogion diordeiniedig; y cyfryw ag a gymmeradwyir yn Llyfr cyntaf y Gosod. Apost. yr hwn sy'n perthynu yn neillduol i'r lleygion, ac a arwyddir yn niamheuol Epistol Clement, § 40. At yr hyn ddiweddaf ddychymmyg yr wyf yn tueddu.

‡ 1 Sam. xiii. 13.

§ Ynghylch Bl. 1103.

o'i herwydd. Yn awr, mab Saul a gyttunasai â'i gludydd arfau i fyned yn ddirgel i wersyll y gelynion, a pheri terfysg ac aflonyddwch yn eu mysg hwynt. Ac wedi i'w gludydd arfau addaw yn barod ei ganlyn i ba le bynnag yr arweiniai ef, er iddo orfod marw wrth hynny; Jonathan a wnaeth ddefnydd o gymmorth y gwr ieuangc, a ddisgynnodd o'r mynydd, ac a aeth i wersyll y gelynion. Yn awr, eu gwersyll oedd ar ddibyn neu serthallt a thair crib iddi, a chraig yn ei amgylchynu, fel rhesau o filwyr yn lluddias ymosodiad oddiwrth elynion. Yno y digwyddodd fod maes-wylwyr y gwersyll wedi ei adael, o herwydd sicrwydd naturiol y lle, ac oblegid ei farnu yn amhossibl i ddringo i fynu i'r gwersyll y ffordd honno, ond na ddeuid yn agos iddo. Cyn gynted, gan hynny, ag y daethant i'r gwersyll, Jonathan a gefnogodd ei gludydd arfau, ac a ddywedodd wrtho, "Goddiweddwn ein gelynion, ac os pan welont ni y parant i ni ddyfod i fynu attynt, cymmerwn hynny yn arwydd o fuddugoliaeth. Ond os na ddywedant ddim, megis heb ewyllys i'n gwahodd i ddyfod i fynu, dychwelwn yn ol drachefn."* Felly pan oeddynt yn neshau at y gwersyll, ychydig wedi torriad y dydd, a'r Philistiaid yn eu canfod hwynt, dywedasant y naill wrth y llall, "Gwelwch yr Hebreaid yn dyfod allan o'u tyllau a'u hogofeydd:" a llefasant ar Jonathan a'i gludydd arfau, "Deuwch ym mlaen, esgynwch attom ni, fel y gosodom gospedigaeth gyfiawn arnoch chwi am eich antur ryfygus." Felly mab Saul a dderbyniodd y gwahoddiad hwnnw megis yn arwydd o fuddugoliaeth, ac a aethant yn union-gyrch allan o'r lle y gwelwyd hwy ynddo gan y gelynion: felly efe a newidiodd ei sefyllfa, ac a symmudodd i'r graig, lle nad oedd neb yn ymddiffyn, oblegid ei chadernid ei hun. Oddi yno yr ymlusgasant i fynu gyd ag anhawsdra a llafur mawr, ac a orchfygasant naturiaeth y lle, drwy ymdrech, nes eu bod yn alluog i ymladd â'u gelynion. Felly hwy a syrthiasant arnynt, fel yr oeddynt yn cysgu, ac a laddasant ynghylch ugain o honynt; a thrwy hynny a'u llanwasant â dychryn ac annhrefn, yn gymmaint ag y bwriodd rhai o honynt eu harfau ymaith; ond y rhan fwyaf oeddynt heb adnabod eu gilydd, o herwydd eu bod o amryw genhedlaethau, ac a ddychymmygasant y naill y llall yn elynion: (canys ni feddyliasant nad oedd ond dau yn unig o'r Hebreaid wedi dyfod i fynu) ac felly hwy a ymladdasant â'u gilydd. A rhai o honynt a fuont feirw yn yr ymladdfa, a rhai eraill wrth ffoi ymaith a syrthiasant bendramwnwgl i lawr dros y graig.

Yn awr, gwyliedydd Saul a fynegodd i'r brenin fod gwersyll y Philistiaid mewn terfysg. Yna efe a holodd a oedd neb wedi myned ymaith oddiwrth y fyddin; a phan glybu fod ei fab a chludydd ei arfau yn absennol, efe a archodd i'r archoffeiriad gymmeryd y gwisgoedd gweinidogaethol, a rhagfynegi pa lwyddiant a fyddai. Dywedodd yr archoffeiriad yr ynnillent y fuddugoliaeth, ac y caent yr oruchafiaeth ar eu gelynion. Felly efe a aeth allan ar ol y Philistiaid, ac a'u goddiweddodd, tra 'r oeddynt y naill yn ymladd yn erbyn y llall. Y rhai hynny hefyd a ddychwelasant atto, pa rai o'r blaen a ymguddiasent mewn tyllau ac ogofeydd, pan glybuant fod Saul yn buddugoliaethu. Pan oedd gan hynny nifer yr Hebreaid a ddaethant at Saul ynghylch deng mil o wŷr, efe a erlidiodd y gelynion, y rhai oeddynt wedi eu gwasgaru dros yr holl wlad. Ond yna efe a gwympodd i weithred, yr hon oedd un dra anhapus ac yn ddarostyngedig i gael ei beio yn fawr. Canys pa un ai o anwybodaeth, neu o lawenydd am fuddugoliaeth a gafwyd drwy foddion mor ddieithr, (canys y mae 'n fynych yn digwydd fod rhai a fu mor llwyddiannus yn eu hymdrechiadau yn analluog i arfer eu rheswm gyd â chyssondeb:) yr ydoedd mor chwannog i ddial,†

*1 Sam. xiv. 2, 10.

† Yr adduned fyrbwyll, neu 'r felldith yma o eiddo Saul, yr hon medd Josephus a gadarnhawyd gan y bobl, ac etto ni chyflawnwyd, (yn bennaf, yr wŷ'n tybieed, o herwydd na wybu Jonathan am dano,) sydd dra hynod; gan mai hanfod pob rhwymau cyfraith ydyw, fel y gwneler hwynt yn ddigon cyhoeddus ac adnabyddus. Yn amgen arweddiad rhagluniaeth ymherthynas i gyssegriad llwon ac addunedau, drwy fod yn gwrthod atteb drwy Urim, nes i'r toriad yma o adduned Saul, neu ei felldith, gael ei deall a'i hiawn drefnu, a Duw gael ei ddyhuddo drwy weddi gyhoeddus, sydd yma hefyd yn dra hynod; megis y mae 'n wir ymhob lle arall o'r Hen Destament. Gwel Llywodraethiad Ysgrythyrol, t. d. 54—65.

ac i wneuthur y fath gosp helaeth ar y Philistiaid, fel y cyhoeddodd felldith ar yr Hebreaid i'r diben hwn. Os attaliai neb rhag myned rhagddynt i ladd y gelynion, a dechreu bwytta, a gadael heibio eu difetha a'u herlid cyn y deuai y nos ym mlaen, gan eu rhwymo i hynny, y byddent yn felldigedig. Yn awr, wedi i Saul gyhoeddi 'r felldith hon, gan eu bod mewn lle coediog perthynol i lwyth Ephraim, y rhai oeddynt aml a llawn o fêl: Mab Saul, yr hwn ni chlywsai ei dad yn datgan y llw, na chlywed am gydsyniad y lliaws â'r unrhyw, a dorrodd ymaith ddarn o ddil mêl, ac a fwyttaodd ran o hono. Ond yn y cyfamser efe a wnaed yn hyspys â pha felldith yr oedd ei dad wedi gwahardd i neb gymmeryd dim lluniaeth cyn gostyngiad haul: felly efe a adawodd heibio fwytta ychwaneg, ac a ddywed na wnaethai ei dad yn dda wrth wahardd y modd hwn; o herwydd pe buasent yn cymmeryd peth lluniaeth yr erlidiasent eu gelynion gyd â mwy o fywiogrwydd a gwroldeb, gan gymmeryd a lladd llawer yn rhagor o'u gelynion.*

Wedi iddynt, gan hynny, ladd amryw ddegau o filoedd o'r Philistiaid, hwy a ddechreuasant yspeilio eu gwersyll, ond nid cyn ei hwyrhau yn ddiweddar. Hwy hefyd a gymmerasant lawer o ysglyfaeth, ac anifeiliaid, gan eu lladd, a'u bwytta ynghyd â'u gwaed. Yr offeiriaid gan hynny a fynegasant i'r brenin fod y lliaws yn pechu yn erbyn Duw fel yr oeddynt yn aberthu; a'u bod yn bwytta cyn golchi ymaith y gwaed yn llwyr, a'r cig i gael ei wneuthur yn lân. Yna y parodd Saul i faen mawr gael ei dreiglo i'w canol hwynt, ac efe a gyhoeddodd fod iddynt ladd eu haberthau arno; ac na ymborthent ar y cig ynghyd â'r gwaed; canys nid oedd hynny gymmeradwy gan Dduw. A phan ddarfu i'r holl bobl wneuthur fel y gorchymmynasai'r brenin Saul,† efe a adeiladodd allor, ac a offrymmodd aberthau i Dduw. Dyma 'r allor gyntaf a adeiladodd Saul.‡

Felly, a Saul yn ewyllysio tywys ei wŷr i wersyll y gelynion cyn goleu ddydd, mewn trefn i'w hyspeilio; a phan nad oedd y milwyr yn anewyllysgar i'w ddilyn, ond yn wir yn dangos parodrwydd mawr i wneud fel y gorchymmynai iddynt; y brenin a alwodd ar Ahitub yr archoffeiriad, ac a archodd iddo ymofyn â Duw, a roddai iddynt genuad i fyned yn erbyn gwersyll y gelyn, mewn trefn i ddifetha y rhai oedd ynddo. Ond yr offeiriad a attebodd na roddai Duw unrhyw atteb. Yna eb Saul, "Nid heb ryw achos y mae fod Duw yn pallu atteb yr hyn yr ydym yn ei ofyn ganddo, yr hwn ychydig amser aeth heibio a fynegodd i ni y cwbl a ofynem, ac a'n rhagflaenodd yn ei attebion. Mae'n sicr fod rhyw bechod yn ei erbyn ag sy'n guddiedig rhagom, pa un sy'n achos o'r distawrwydd hwn. Yn awr, yr wyf yn tyngu wrthyf fy hun, am yr un a wnaeth y pechod hwn, pe profai ei fod yn fy mab Jonathan, bydd i mi ei roddi i farwolaeth; a thrwy hynny y llonyddir dig Duw yn ein herbyn; a hynny a wnaf yr un dull a phe cospid dieithr-ddyn, ac heb fod oll yn perthynu i mi, am yr unrhyw drosedd."§ Felly pan lefodd y dyrfa allan arno am wneuthur felly, efe yn union-gyrch a osododd y lleill oll ar un ochr, ac yntau a'i fab a safasant ar yr ochr arall, ac efe a geisiodd ddatguddio y troseddwr drwy goelbren. Yna y coelbren a ymddangosodd fel yn syrthio ar Jonathan ei hun. Felly pan ofynodd ei dad iddo o ba bechod yr ydoedd yn euog? ac o ba beth yr oedd ei gydwybod yn ei gyhuddo yn fwyaf beius drwy ystod ei fywyd? ei atteb ydoedd, "O fy nhad! ni throseddais ymhellach na'r hyn a wnaethum ddoe, heb wybod am y felldith a'r llw a draethaist di, tra 'r oeddwn yn erlid y gelyn, sef profi o ddil mel." Saul a dyngodd yn ebrwydd y lleddid ef, gan olygu ei lw yn rhagori ar holl rwymau perthynas natur a genedigaeth; ond ni frawychodd Jonathan wrth y bygythiad hwn; ond a offrymmodd ei hun i fynu yn rhwydd ac yn ddibetrus-

* 1 Sam. xiv. 29, 30.

† Yma y mae gennym fyth arwyddion pellach o duedd Saul at unbennaeth awdurdod, a thrais-feddiannu y swydd offeiriadol; gan wneuthur ac ymdrechu i gyflawni adduned fyrbwyll, neu felldith, heb ymgynghori â Samuel neu 'r Sanhedrim. Yn y golwg hwn hefyd yr ydwyf yn edrych ar adeiladaeth yr allor newydd yma gan Saul, a'i waith yn offrymmu poeth offrwm ei hunan arni, ac nid gyd ag arwydd briodol o ddwyfoldeb neu grefydd.

‡ 1 Sam. xiv. 35.

§ 1 Sam. xiv. 39.

der, gan ddywedyd, "Ac nid wyf yn dymuno arnat, fy nhad, fy arbed i. Marwolaeth i mi a fydd dra chymmeradwy pan darddo o dduwioldeb, ac yn ol buddugoliaeth anrhydeddus: canys y cyssur mwyaf i mi ydyw, fy mod yn gadael yr Hebreaid yn fuddugoliaethwyr ar y Philistiaid." Ar hyn yr holl bobl oeddynt dra gofidus am Jonathan; a thyngasant nad edrychent ar ei farwolaethu ef, yr hwn a fuasai 'n awdwr eu diweddar fuddugoliaeth. Trwy 'r moddion hyn hwy a'i cipiasant allan o'r perygl yr oedd ynddo oblegid llw ei dad; tra 'r oeddynt yn gwneud eu herfyniau hefyd at Dduw dros y dyn ieuangc, ar fod iddo faddeu ei bechod.

Felly Saul wedi lladd ynghylch trugain mil o'r gelynion, a ddychwelodd i'w ddinas ei hun, ac a deyrnasodd yn ddedwydd. Ac efe hefyd a ymladdodd â'r cenhedlaethau cymmydogaethol; ac a ddarostyngodd yr Ammoniaid, Moabiaid, Edomiaid, a'r Amaleciaid, megis brenin Soba hefyd. Yr oedd iddo dri o feibion, Jonathan, Ishui, a Melchi-shua; gyd â Merah a Michael ei ferched. Yr oedd ganddo hefyd Abner fab ei ewythr, yn flaenor ar ei lu; ac enw yr ewythr hwnnw ydoedd Ner. Yna Ner a Cish tad Saul oeddynt frodyr. Yr oedd gan Saul hefyd lawer o gerbydau a gwŷr meirch: ac yn erbyn pwy bynnag y gwnelai ryfel, efe a ddychwelai yn fuddugoliaethwr, ac a fawrygodd achosion yr Hebreaid i raddau o lwyddiant a happusrwydd, ac a'u gwnaeth i ragori ar genhedlaethau eraill: ac efe a wnaeth wŷr ieuaingc ag oedd yn rhagori o ran uchder a phrydferthwch yn wyliedyddion bywyd iddo.

## PENNOD VII.

*Am ryfel Saul â'r Amaleciaid, a'i fuddugoliaeth arnynt.*

YN awr, Samuel a ddaeth at Saul, * ac a ddywedodd wrtho ei fod ef wedi ei anfon oddiwrth Dduw, i ddwyn ar gof iddo ddarfod ei ddewis ganddo ef o flaen pawb eraill i'w ordeinio yn frenin, ac y dylai efe o herwydd hynny ufuddhau iddo, ac ymostwng i'w awdurdod ef; megis yn ystyried, mai er fod arglwyddiaeth ganddo ef ar lwythau eraill, etto fod Duw yn arglwyddiaethu arno ef, ac ar bob peth. A darfod i Dduw lefaru wrtho ef, "Yn gymmaint ag i'r Amaleciaid wneuthur drygau lawer i'r Hebreaid tra 'r oeddynt yn yr anialwch, a phan ar eu dyfodiad o'r Aipht yr oeddynt yn gwneud eu ffordd tu a'r wlad hon pa un sydd yn awr yn eiddo iddynt eu hunain, yr wyf yn dy orchymmyn di i gospi 'r Amaleciaid drwy wneuthur rhyfel i'w herbyn; ac wedi i ti eu darostwng hwynt, na adawech neb o honynt yn fyw, ond eu herlid ym mhob oedran, a'u difetha hwynt; gan ddechreu ar y merched a'r rhai bychain; a gofyn hyn fel cosp i'w osod arnynt am y niweid a wnaethant i'n tadau ni. Heb arbed dim, nac assynod neu anifeiliaid eraill, na chadw o honoch ddim er eich budd a'ch mantais neu 'ch meddiant eich hunain: ond eu cymmeryd i'w difetha yn gwbl yn ol ordinhad Duw, ac mewn ufudd-dod i orchymmynion Moses, i ddileu enw Amalec * yn hollol oddi dan y nefoedd.

Saul a addawodd wneuthur yr hyn a orchymmynwyd iddo; gan feddwl y buasai ei ufudddod i Dduw yn cael ei ddangos nid yn unig yn gwneuthur rhyfel yn erbyn yr Amaleciaid, ond yn fwy hollol yn ei barodrwydd, a'i gyflymdra yn ei barottoad; efe yn union-gyrch a gasglodd ynghyd ei holl luoedd. Ac wedi eu rhifo hwynt yn Gilgal, efe a'u cafodd hwynt ynghylch pedwar can mil o'r Israeliaid, heblaw llwyth Judah; canys y llwyth hwnnw ei hun oedd yn cynnwys deng mil ar hugain. Yn ganlynol Saul a wnaeth ruthr i mewn i wlad yr Amaleciaid, ac a osododd amryw wŷr, ac amryw bartïau o ddynion mewn cyullwyn gerllaw yr afon; fel drwy hynny y byddai iddo eu niweidio nid yn unig mewn ymladdiad cyhoeddus, ond y gellid cwympo arnynt yn annisgwyliadwy ar hyd y ffyrdd, a thrwy hynny eu hamgylchu a'u lladd

* Ynghylch Bl. 1106.

† Y rheswm am y toster hwn a roddir yn amlwg, 1 Sam. xv. 18. "Dos, a dyfroda 'r pechaduriaid yr Amaleciaid." Ac yn wir nid ydym un amser yn cyfarfod â'r Amaleciaid hyn, ond fel pobl waedlyd a thra chreulon; ac yn enwedig yn ceisio niweidio cenedl yr Israeliaid. Gwel Exod. xvii. 8—16. Num. xiv. 45. Deut. xxv. 17, 18, 19. Barn. vi. 6. vii. 3. vii. 12. x. 12. 1 Sam. xv. 33. xxx. 1, 2. Sal. lxxxiii. 7. a thu hwnt i'r cwbl, y pennaf o'r holl greulonderau, yr eiddo Haman yr Agagiad, neu un o hiliogaeth Agag, hen frenin yr Amaleciaid. Est. iii. 1—15.

hwynt. Ac wedi iddo ymgyssylltu â hwynt mewn brwydr, efe a'u gorchfygodd; a chan eu herlid fel y ffoent ymaith, difethodd hwynt oll. Ac wedi llwyddo yn hynny, fel y rhagddywedasai Duw, efe a warchaeodd ar ddinasoedd yr Amaleciaid, ac a'u cymmerodd drwy drais; mewn rhan drwy beiriannau rhyfel, drwy gloddiau cudd o dan y ddaear, a thrwy ragfur oddi allan i'r caerau. Rhai a laddasant â newyn, a rhai drwy amryw ffyrdd neu foddion eraill. Ar ol y cyfan, efe a gymmerodd yn llaw ladd y gwragedd â'r plant, gan feddwl nad oedd wrth hynny yn arfer creulondeb neu ddi-ddynoliaeth: yn gyntaf, o herwydd mai â gelynion yr oeddynt yn gwneud y driniaeth yma; ac yn y lle nesaf, o herwydd ei wneuthur wrth orchymmyn Duw, yr hwn yr oedd yn beryglus annfuddhau iddo. Efe hefyd a gymmerodd Agag, brenin y gelynion, yn gaethwas; glendid ac uchder corphorol yr hwn oedd efe yn ei ryfeddu cymmaint, fel y tybiodd ef yn deilwng o gael ei arbed. Etto nid oedd hyn yn gyttûn ag ewyllys Duw; drwy roddi lle i weithrediad tymmer ddynol, a goddef ei hun i gael ei orchfygu gan dosturi afresymmol, mewn peth nad oedd diogelwch o'i gynnwys. Canys yr oedd Duw yn casâu cenedl yr Ammaleciaid i'r fath radd, fel y gorchymmynodd i Saul na thosturiai hyd yn oed wrth fabanod, pa rai y byddwn ni, o natur, yn bennaf yn tosturio wrthynt. Saul, pa fodd bynnag, a gadwodd y brenin rhag y trueni a ddug yr Hebreaid ar y bobl; megis pe dewisasai ymddangosiad prydferth y gelyn, o flaen dal mewn côf yr hyn ag oedd Duw wedi ei anfon ef o'i blegid. Yr oedd y fyddin hefyd yn feius yngbyd â Saul; canys hwy a arbedasant y minteioedd a'r diadellau, gan eu cymmeryd yn ysglyfaeth, pan orchymynasai Duw na arbedent mo 'nynt. Hwy hefyd a ddygasant ymaith weddill eu cyfoeth a'u trysorau; ond os oedd rhyw beth gwael ac anheilwng o'u sulw, hwnnw a ddifethent.*

Wedi i Saul orchfygu yr holl Amaleciaid hyn, o'r Aipht hyd y Mor Coch; efe a ddifrododd holl weddill gwlad y gelynion; ond am genedl y Sichemiaid,† ni chyffyrddodd â hwynt, er eu bod yn trigo ynghanol gwlad Midian. Canys cyn y frwydr, Saul a ddanfonasai attynt, gan erchi iddynt ymado ymaith, rhag cyfrannogi o honynt o ddinystr yr Amaleciaid. Canys yr oedd iddo gyfiawn achos i'w hachub hwynt, gan eu bod o garennydd Raguel, tad-ynghyfraith Moses.

Ar hyn Saul a ddychwelodd adref yn llawen, o herwydd y pethau mawrion a gyflawnasai yngorchfygiad y gelynion; megis pe buasai heb esgeuluso dim a ordeiniasai y prophwyd iddo wneuthur yn ei ryfel â'r Amaleciaid, ond darfod iddo gyflawni i'r eithaf yr hyn oll a ddylasai. Ond yr oedd Duw yn anfoddlon ddarfod cadw brenin yr Amaleciaid yn fyw, a darfod i'r lliaws osod eu dwylaw ar yr ysglyfaeth; o herwydd gwneuthur y pethau hyn heb ei gennad ef. Canys yr oedd efe yn edrych arno fel peth annioddefol iddynt hwy fuddugoliaethu ar eu gelynion â'r gallu a roddasai efe iddynt, ac yna iddo ef ei hun gael ei ddiystyru ac anufuddhau iddo, yr hyn ni fuasai brenin daearol yn cyd-ddwyn ag ef. Gan hynny, dywedodd wrth Samuel, fod yn edifar ganddo osod Saul yn frenin, pan nad oedd yn cyflawni dim a orchymmynai iddo, ond dilyn ei dueddiadau ei hun. Pan glybu Samuel hynny, yr oedd mewn terfysg mawr, ac a ddechreuodd erfyn ar Dduw drwy 'r nos honno ymgymmodi â Saul, ac na fyddai ddig wrtho. Ond ni chaniattaodd efe y maddeuant a ofynwyd gan y prophwyd am dano; megis heb ei gyfrif yn gymmwys i ganiattau maddeuant am y fath bechodau ar ei eiriolaeth ef; gan nad yw camweddau yn tyfu mor anferth, ac wrth lareidd-dra tymmer y rhai y gwneir camwedd i'w herbyn. Canys tra maent hwy 'n ymofyn am glod o gael eu cyfrif yn arafaidd ac o naturiaeth dda, y maent yn ddiarwybod yn achos o bechodau eraill. Mor gynted, gan hynny, ag y gwrthodwyd eiriolaeth y prophwyd gan Dduw, ac ymddangos yn eglur na chyfnewidiai efe ei feddwl, daeth Samuel ar dorriad y dydd at Saul i Gilgal. Pan welodd y brenin ef, efe a redodd

* 1 Sam. xv. 9.

† Cenead, 1 Sam. xv. 6.

atto, ac a'i cofleidiodd, gan ddywedyd, "Yr wyf yn dychwelyd diolch i Dduw, yr hwn a roddodd i mi y fuddugoliaeth, canys mi a gyflawnais bob peth a ddarfu iddo orchymmyn." Samuel a attebodd, "Pa fodd, gan hynny, yr wyf yn clywed brefiadau y defaid, a beichiad yr anifeiliaid yn y gwersyll?"* Saul a ddywedodd mewn attebiad, ddarfod i'r bobl eu cadw yn aberthau; ond ymherthynas i genedl yr Amaleciaid, yr oeddynt oll wedi eu difetha, megis yr oedd efe wedi cael gorchymmyn i weled gwneuthur hynny, ac na adawsid un dyn, ond iddo ef gadw y brenin yn unig yn fyw, a'i ddwyn atto ef, ymherthynas i ba un y gallant gydymgynghori pa beth a wnaid iddo ef. Ond y prophwyd a ddywedodd, "Nid yw Duw yn ymhoffi mewn aberthau, ond mewn dynion da a chyfiawn, y rhai ydynt y fath ag sydd yn canlyn ei ewyllys a'i gyfreithiau ef; ac heb feddwl fod un peth a wneir ganddynt yn dda, ond pan wnelont ef fel y mae Duw yn gorchymmyn: ei fod ef yn golygu ei hun y pryd hynny yn cael ei ddianrhydeddu, nid pan na bo un yn aberthu, ond pan ymddangoso rhyw un yn anufuddhau iddo ef. Ond gan y rhai na ufuddhant iddo y ddyledswydd honno o ufudd-dod, yr hyn yw gwir a chymmeradwy addoliad, ni dderbyn efe yn garedig eu hoffrymmau; bydded y rhai a offrymmont byth mor freision, a'u rhoddion mor deg ac addurniadol, ïe, pe byddent o aur ac arian eu hunain: ond efe a'u gwrthyd, ac a'u cyfrifa yn arwyddion o ddrygioni ac nid o dduwioldeb. A'i fod ef yn ymhoffi yn y rhai ag sydd fyth yn dal mewn cof yr un peth hwn, pa fodd i wneud y peth hwnnw, pa fath bynnag yw, ag y mae Duw yn ei ddywedyd neu orchymmyn iddynt ei wneuthur; ac i ddewis yn hytrach farw na throseddu un o'i orchymmynion ef. Ac nid yw efe yn gofyn cymmaint ag aberth oddiwrthynt: a phan fyddo y rhai hyn yn aberthu, er na byddo eu hoffrwm ond gwael, y mae yn fwy cymmeradwy ganddo, megis anrhydedd tlodi, yn hytrach nag offrymmau oddiwrth rai cyfoethoccaf a offrymmir iddo ef. O herwydd paham cymmer sulw, dy fod dan anfoddlonrwydd Duw; canys ti a ddirmygaist ac a esgeulusaist yr hyn a orchymmynodd efe. Pa fodd, gan hynny, y meddyli y derbyn efe aberth o ddwylaw un a farnwyd i ddinystr? oddieithr, ysgatfydd, dy fod yn tybied nad yw agos ond yr un peth ei offrymmu yn aberth i Dduw, a'i ddifetha. Disgwyl gan hynny y bydd i'th deyrnas gael ei chymmeryd oddi wrthyt, a'r awdurdod a ddirmygaist di drwy 'r fath ymddygiad rhyfygus, ag i anufuddhau i'r Duw hwnnw a'i cyfrannodd i ti." Yna y cyfaddefodd Saul iddo wneuthur yn anghyfiawn, ac ni cheisiodd wadu ddarfod iddo bechu; o herwydd troseddu o hono yr annogaethau a roddwyd iddo gan y prophwyd; ond efe a haerodd mai rhag arswyd ac ofn y milwyr y darfu iddo beidio a'u hattal, pan ymafaelasant yn yr ysglyfaeth. "Ond maddeu i mi," eb efe, "a bydd drugarog wrthyf; canys mi fyddaf ochelgar pa fodd i ymddwyn mewn amser i ddyfod." Efe hefyd a ddeisyfodd ar y prophwyd fyned yn ol gyd ag ef, fel yr offrymmai ei offrwm o ddiolchgarwch i Dduw. Ond Samuel a drodd i fyned tu ag adref, o herwydd deall o hono na chymmodai Duw ag ef.

Ond yr oedd chwennychiad Saul i Samuel aros gyd ag ef mor fawr fel yr ymaflodd ynghwrr ei fantell, yr hon ar ei dröad nerthol i fyned ymaith, a rwygodd. Ar hyn dywedodd y prophwyd mai yn gyffelyb i hynny y rhwygid y deyrnas oddiwrtho ef; ac y byddai i ddyn daionus a chyfiawn ei chymmeryd hi; fod Duw yn parhau yn yr hyn a arfaethodd ymherthynas iddo; a bod yn anwadal ac yn gyfnewidiol yn y peth a fwriadwyd sydd briodol i nwydau dynion yn unig, ond yn anghyttun â dwyfol awdurdod. Ar hyn Saul a gyfaddefodd ei fod yn annuwiol; ond na ellid dadwneud yr hyn a wnaethpwyd. Efe, gan hynny, a ddymunodd arno ei anrhydeddu mor bell ag y byddai i'r lliaws weled eu cydgymdeithasiad yn addoli Duw. Felly Samuel a ganiattaodd y ffafr hynny iddo, ac a aeth gyd ag ef ac a addolodd Dduw. Agag hefyd, brenin yr Amaleciaid a ddygwyd atto ef: ac wedi dywedyd o'r brenin, pa mor chwerw ydoedd marwolaeth, Samuel a ddywedodd, Megis y gwnaeth-

* 1 Sam. xv. 14.

ost i lawer o'r mammau Hebreaidd alaru ac wylofain am eu plant, felly y rhoddi achos drwy dy farwolaeth i'th fam dithau alaru hefyd.* Yn ganlynol, efe a orchymmynodd ei ladd ef yn ddioed yn Gilgal; ac yna efe a ymadawodd ac a aeth i ddinas Ramah.

## PENNOD VIII.

*Am appwyntiad Dafydd i'r awdurdod frenhinol, wrth orchymmyn Dwyfol, ac mewn canlyniad i droseddiad Saul.*

SAUL wedi ei wneud yn deimladwy o'r cyflwr gresynol yr oedd wedi ei ddwyn ei hun iddo, a gwneuthur Duw yn elyn iddo, a aeth i fynu i'w dŷ brenhinol yn Gibeah, yr hwn enw sydd yn arwyddo Bryn; ac ar ol y dydd hwnnw ni ddaeth efe mwyach i olwg y prophwyd. Ac fel yr oedd Samuel yn tristâu o'i herwydd, Duw a barodd iddo adael heibio ei alar, a chymmeryd yr olew sanctaidd, a myned i Bethlehem, at Jesse mab Obed, ac enneinio y cyfryw un o'i feibion ag a ddangosai efe iddo, i fod yn frenin iddynt amser i ddyfod. Ond Samuel a ddywedodd ei fod yn ofni, rhag i Saul pan ddeallai hynny, ddyfod a'i ladd ef, mewn rhyw ddull dirgel, neu yntau yn amlwg. Ond wedi i Dduw amlygu iddo ffordd ddiogel o fynediad yno, efe a ddaeth i Bethlehem. Ac wedi iddynt oll ei gyfarch ef, a gofyn am yr achos o'i ddyfodiad, dywedodd ei ddyfod i aberthu i Dduw. Gan hynny, wedi parottoi yr aberth, efe a alwodd Jesse a'i feibion i gyfrannogi. A phan welodd ei fab hynaf yn un hardd, ac o faintioli uchel, efe a dybiodd oblegid ei brydferthwch mai efe oedd yr hwn a fyddai yn frenin arnynt. Ond yr oedd efe yn camsyniad yn ei farn am ragluniaeth Duw: canys pan ymofynnodd Samuel â Duw a enneiniai efe y gwr ieuangc hwnnw, yr hwn yr oedd yn ei hoffi gymmaint, ac a farnodd yn gymmwys i'r llywodraeth, dywedodd Duw, "Ni wêl dynion megis ag y gwêl Duw. Tydi yn wir wyt yn perchi ymddangosiad prydferth y gwr ieuangc hwn, ac oddiwrth hynny yn ei olygu yn deilwng o'r deyrnas; pan wyf fi yn rhoddi'r deyrnas fel gwobr, nid am harddwch corphorol yr wyf yn ei rhoddi ond am rinwedd ysprydol; ac ymofyn yr wyf am un hardd a phrydferth yn yr ystyr hynny: fy meddwl yw, un ag sydd yn hardd mewn duwioldeb, cyfiawnder, gwroldeb, ac ufudd-dod; canys yn y pethau hyn y mae harddwch yr enaid yn gynnwysedig."† Wedi i Dduw ddywedyd hyn, Samuel a ddymunodd ar Jesse ddangos iddo ei holl feibion. Felly efe a barodd i bump eraill o'i feibion ddyfod ger ei fron ef; o ba rai oll Eliab oedd yr hynaf, Aminadab yr ail, Shammah y trydydd, Nathanael y pedwerydd, y pummed a elwid Rael, a'r chweched Asam. A phan welodd y prophwyd nad oedd y rhai 'n un ffordd is-radd i'r hynaf yn eu hwynebpryd, efe a ymofynodd â Duw pa un o honynt yr oedd yn ei ddewis yn frenin? Ac wedi dywedyd o Dduw nad un o honynt hwy ydoedd; efe a ofynodd i Jesse, A oedd ganddo feibion eraill heblaw y rhai hynny? A phan ddywedodd fod ganddo un yn rhagor, a elwid Dafydd, ond mai bugail oedd efe, ac yn cymmeryd gofal y praidd. Samuel a archodd ei alw ef yn ddioed; canys hyd oni ddeuai efe ni allent eistedd i lawr i wledda. Yna, cyn gynted ag yr anfonodd ei dad am Dafydd, a'i fod wedi dyfod, efe a ymddangosodd a'i wedd yn wridgoch, ei edrychiad yn llym, ac yn hardd o gorpholaeth mewn pethau eraill hefyd. "Hwn yw efe," eb Samuel ynddo ei hun, "yr hwn y mae 'n rhyngu bodd i Dduw ei osod yn frenin arnom." Felly efe a eisteddodd i lawr wrth y wledd, gan osod y dyn ieuangc islaw iddo; a Jesse hefyd a'i feibion eraill. Ar ol darfod efe a gymmerodd olew yngolwg Dafydd, ac a'i henneiniodd ef; gan ddywedyd yn ei glust, a hyspysu iddo, fod Duw yn ei ddewis i fod yn frenin; ac efe a'i cynghorodd i fod yn gyfiawn, ac yn ufudd i'w orchymmynion; oblegid mai trwy 'r moddion hyn y safai ei deyrnas dros hir amser; ac y byddai ei dŷ yn llewyrchiol ac yn glodfawr yn y byd: y dadymchwelai efe y Philistiaid; ac yn erbyn pa genedl bynnag yr elai mewn rhyfel, y byddai efe yn fuddugoliaethwr, ac yn drech yn yr ymladdfa;

* 1 Sam. xv. 33.

† 1 Sam. xvi. 7.

y byddai enw mawr iddo yn ei fywyd, yr hwn a drosglwyddid yn ol hynny i'w hiliogaeth.

Felly Samuel, wedi gadael y rhybuddion hyn gyd ag ef, a aeth ymaith. Ond y dwyfol nerth a ymadawodd oddiwrth Saul, ac a symmudodd i Ddafydd; yr hwn ar ddyfodiad y dwyfol yspryd iddo, a ddechreuodd brophwydo. Ond am Saul, rhyw anhwylderau dicithrol * a ddaeth arno, ag a ddug gyd ag ef y fath fygfa ag oedd barod i'w dagu. A phan na fedrai y physygwyr gael un feddyginiaeth iddo ond hon; sef, os caed rhyw un a fedrai esmwythau y nwydau hynny drwy ganu a chwarae ar y delyn, ar fod i'r cyfryw un gael chwilio am dano; a sylwi pan ddeuai 'r drwg yspryd arno a'i aflonyddu ef; a chymmeryd gofal fod y fath un yn sefyll gerllaw iddo ef, a chwarae ar y delyn, † ac adrodd hymnau iddo ef. Yn ganlynol ni ddarfu i Saul oedi hyn; ond a archodd iddynt edrych allan am y cyfryw un. Ac wedi i ryw un oedd yn sefyll gerllaw ddywedyd, weled o hono un yn ninas Bethlehem, mab i Jesse, yr hwn nid oedd etto ond megis plentyn mewn oedran, ond o ymddygiad hardd a phrydferth; ac mewn ystyriaethau eraill un ag oedd yn haeddiannol o barch mawr: yr hwn oedd fedrus i chwarae ar y delyn, a chanu hymnau; ac yn filwr rhagorol. Efe a ddanfonodd at Jesse, gan ddymuned arno gymmeryd Dafydd ymaith oddiwrth y praidd, a'i anfon atto ef, canys yr oedd arno eisiau ei weled ef, gan ei fod wedi clywed geiriau rhagorol iddo ef am ei harddwch a'i wrolder. Felly Jesse a anfonodd ei fab, ac a roddodd anrhegion iddo i'w dwyn i Saul. Ac wedi ei ddyfod, Saul a'i hoffodd ef, ac a'i gwnaeth yn gludydd arfau iddo ei hun; ac yr oedd mewn cymmeriad mawr ganddo: canys efe a esmwythâi ei anhwyldeb, ac efe ydoedd yr unig physygwr yn erbyn yr anhwyldeb oedd yn ei flino oddiwrth y drwg yspryd, pa bryd bynnag y deuai i'w flino: sef, drwy ddywedyd hymnau, a chanu ar y delyn, yr hyn a ddygai Saul i'w iawn bwyll drachefn. Pa fodd bynnag efe a anfonodd at dad y llange, gan ofyn ei gennad i adael i Dafydd aros gyd ag ef, oblegid ei fod yn hoff ganddo. Pa ryw arbosiad fel na wrthwynebai Saul, a ganiattaodd Jesse iddo yn ebrwydd.

## PENNOD IX.

*Am ymgyrch arall y Philistiaid yn erbyn yr Hebreaid, dan deyrnasiad Saul; ac am eu gorchfygiad drwy i Ddafydd ladd Goliah mewn brwydr.*

YN awr, y Philistiaid a ymgasglasant ynghyd drachefn, cyn pen nemmor o amser yn ol hynny; ac wedi casglu byddin luosog ynghyd, hwy wnaethant ryfel yn erbyn yr Israeliaid; ac wedi goresgyn lle rhwng Shocho ac Azekah, yno y sefydlasant eu gwersyll. Saul hefyd a dynnodd allan ei fyddin i'w gwrthwynebu hwynt. Ac wrth osod ei wersyll ei hun ar ryw fryn, efe a barodd i'r Philistiaid adael eu sefyllfa gyntaf, a gwersyllu eu hunain ar gyffelyb fryn arall, gyferbyn â'r un yr oedd byddin Saul yn gorwedd: felly yr oedd dyffryn rhwng y ddau fryn neu fynydd ar ba rai y gorweddent, yn gwahanu rhwng eu byddinoedd. Yn awr, fe ddaeth un i wared o wersyll y Philistiaid, enw yr hwn oedd Goliah, o ddinas Gath; gwr o faintioli a grymmusder mawr iawn; canys yr oedd yn bedwar ‡ cufydd a rhychwant o uchder; ac oedd yn dwyn gyd ag ef arfogaeth gyfattebol i'w nerth corphorol: canys yr oedd ganddo ddwyfronneg am dano a bwysai bum mil o siclau. Yr oedd helm a bottasau pres hefyd ganddo, o'r fath ag a guddiai aelodau y fath gorph anferth. Ei waywffon hefyd a ddygai gyd ag ef, nid fel peth ysgafn yn ei ddeheulaw, ond ei dwyn yr oedd ar ei ysgwyddau. Ei biccell ydoedd chwe' chant o siclau, a llawer a'i dilynent i ddwyn ei arfogaeth ar ei ol ef. O herwydd hynny y Goliah yma a safodd rhwng y ddwy fyddin, fel yr oeddynt wedi eu trefnu i'r frwydr, ac a lefodd allan mewn llais cryf, gan ddywedyd wrth Saul a'r Hebre-

* 1 Sam. xvi. 14.

† Spanheim sydd yn cymmeryd sulw yma, fod gan y Groegiaid y fath gantorion hymnau; a bod plant neu ieuengctyd yn arferol o gael eu dewis i'r gwasanaeth hwnnw. Megis hefyd fod y rhai a elwid yn gantorion gyd â'r delyn, yn gwneuthur yr un peth ag a wnai Dafydd yma; h. y. uno eu llais naturiol ac offerynnol ynghyd mewn cerddoriaeth.

‡ Chwech yn yr Hebraeg; pedwar yn y Septuagint.

aid, "Myfi a'ch rhyddhaf oddiwrth ymladd, ac oddiwrth beryglon. Canys pa angenrheidrwydd sydd i'ch byddin syrthio a chael eu trallodi? Dodwch i mi wr o honoch a ymladdo â mi; a'r hwn a orchfygo a gaiff dderbyn gwobr gorchfygwr, a phenderfynu y rhyfel; canys y rhai hyn a wasanaethant y lleill i ba rai y perthyna y buddugoliaethwr. Ac yn sicr y mae'n llawer gwell, ac yn fwy o gallineb i ynnill yr hyn a ewyllysiwch drwy beryglu un dyn na pheryglu'r cwbl." Wedi iddo ddywedyd hyn, efe a aeth ymaith i'w wersyll ei hun. Ond y dydd nesaf efe a ddaeth drachefn, gan arferyd yr un geiriau; ac ni adawodd heibio dros ddeugain niwrnod ynghyd waradwyddo y gelyn yn yr un geiriau, nes arswydo Saul a'i fyddin yn fawr drwy hynny, tra'r oeddynt yn trefnu eu hunain, fel pe buasent am ymladd, ond ni nesasant i frwydr.

Yna, pan oedd y rhyfel hwn rhwng yr Hebreaid a'r Philistiaid yn myned ym mlaen, Saul a anfonodd Dafydd ymaith at ei dad Jesse, ac a foddlonodd ei hun ar y tri mab hynny a anfonasid yn gynnorthwywyr, ac yn gydgyfrannogwyr ag ef ymheryglon rhyfel. Ac yn gyntaf Dafydd a ddychwelodd i borthi ei braidd; ond cyn pen nemmor efe a ddaeth i wersyll yr Hebreaid, wedi ei anfon gan ei dad a lluniaeth i'w frodyr, ac i wybod pa beth yr oeddynt yn ei wneuthur; tra'r oedd Goliah drachefn yn dyfod i'w gwaradwyddo, ac yn haeru nad oedd yn eu mysg un dyn o galondid a ddenai i wared i ymladd ag ef. Yn awr, tra'r oedd Dafydd yn ymddiddan â'i frodyr am yr achos o herwydd pa un yr anfonasai ei dad ef, efe a glybu y Philistiad yn gwaradwyddo ac yn cablu y fyddin; ac yr oedd efe yn ddig o'i blegid; ac a ddywedodd wrth ei frodyr, "Myfi ydwyf barod i ymladd law-law â'r gelyn hwn." Ar hyn Eliab ei frawd hynaf a'i ceryddodd ef, ac a ddywedodd ei fod yn siarad gyd â gormod o hyfdra, ac yn anweddaidd i un o'i oedran ef; ac a barodd iddo fyned at ei braidd a'i dad. Felly efe a gywilyddiodd wrth eiriau ei frawd, ac a aeth ymaith; ond er hynny efe a ddywedodd wrth rai o'r milwyr, ei fod ef yn foddlon i ymladd â'r hwn oedd yn eu herrio hwynt. A phan fynegasant i Saul am ymröad y gwr ieuangc, y brenin a anfonodd i'w gyrchu ef atto. A phan ofynodd y brenin am yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd, efe a attebodd, "O frenin, na ddigalonner di, ac nac ofna; canys myfi a ddarostyngaf falchder y gelyn hwn, * ac a af i lawr ac a ymladdaf ag ef; gosodaf ef yn isaf, er mor fawr ac ucheled yw, nes y chwardder digon am ei ben ef, a bod clod nid bychan i'th fyddin, am ddarfod ei ladd gan un nad oedd o oedran gwr, ac heb ei gymhwyso i ymladd, nac yn alluog i drefnu byddin, a myned yn rheolaidd i frwydr; ond gan un sydd a'i edrychiad fel plentyn, ac nid yw mewn gwirionedd yn hŷn mewn oedran na phlentyn."

Yn awr, fe ryfeddodd Saul wrth hyfdra a bywiogrwydd Dafydd, ond ni fynnai ymddiried i'w alluogrwydd oblegid ei oedran; ond a ddywedodd, ar y cyfrif hwnnw, ei fod yn rhy wan i ymladd ag un mor nerthol a medrus yn y gelfyddyd honno. "Yr wyf yn anturio i hyn," eb Dafydd, "mewn hyder o fod Duw gyd â mi, canys mi brofais eisoes o'i gynnorthwyon ef. Canys mi erlidiais unwaith ar ol llew a gipiasai oen o'r praidd, ac a'i tynnais o safn y bwystfil, yr hwn wedi neidio yn orwyllt arnaf, a gydiais yn ei gynffon, ac a'i tarawais ynghyd â'r llawr nes ei ladd. Yn yr un modd yr ymddielais fy hun ar arth hefyd. A chyfrifer y gelyn hwn o'r eiddom ni fel un o'r bwystfilod hynny, gan iddo er 's hir amser waradwyddo ein byddin, a chablu ein Duw, yr hwn etto a'i dymchwel dan fy llywodraeth i."

Saul a weddiodd am fod y diwedd, drwy gymmorth Duw, yn unol â hoywder a chalondid y bachgen, ac a ddywedodd, "Dos ymaith i'r ymladdfa." Felly efe a roddodd o'i amgylch y ddwyfroneg, gan wregysu ei gleddyf, a chymhwyso yr helm ar ei ben ef, a'i anfon ymaith. Ond yr oedd Dafydd wedi ei feichio â'i arfogaeth, yr hon ni arferasai efe, ac ni fedrai gerdded ynddi. Felly efe a ddywedodd, "Bydded yr arfogaeth yma yn eiddot ti, O frenin, yr hwn wyt yn alluog i'w dwyn: ond dyro i mi gennad i ymladd megis dy was, ac fel yr wyf fy hun yn

* 1 Sam. xvii. 32.

dymuno." Yn ganlynol efe a osododd yr arfogaeth o'r neilldu: a chan gymmeryd ei ffon gyd ag ef, a dodi pump o gerrig o'r afon mewn côd bugail, a'i dafl-ffon yn ei ddeheulaw, efe a aeth rhagddo tu ag at Goliah. Ond a'r gelyn yn ei ganfod yn nesâu yn y fath ddull atto, a'i dirmygodd ef, gan ei watwar, megis un heb y fath arfau ganddo ag fydd arferol o fod gan y naill ddyn wrth fyned i ymladd â'r llall; ond y cyfryw a arferir yn ymlid neu yn gochelyd cŵn: ac efe a ddywedodd, "A ydwyt yn fy nghymmeryd am gi ac nid yn ddyn?" I'r hyn yr attebodd, "Nac ydwyf am gi, ond am greadur gwaeth na chi." Hyn a gynhyrfodd Goliah i lidiowgrwydd; yr hwn ar hynny a'i melldithiodd yn enw Duw, gan fygwth rhoddi ei gnawd i fwystfilod y ddaear, ac i ehediaid yr awyr i'w rwygo yn ddrylliau ganddynt. I'r hyn yr attebodd Dafydd, "Yr wyt ti yn dyfod attaf fi â chleddyf a gwaywffon, ac â dwyfronneg; ond y mae gennyf fi Dduw yn arfogaeth wrth ddyfod yn dy erbyn di, yr hwn a'th ddifetha di a'th holl fyddin drwy fy nwylaw i; canys myfi y dydd hwn a dorraf ymaith dy ben, ac a ddodaf y rhan arall o'th gorph i'r cŵn; a phob dynion a gant wybod fod Duw yn amddiffynwr yr Hebreaid, a bod ein harfogaeth a'n nerth ni yn ei ragluniaeth ef; a phob arlwyadau a chadernid arall, heb gymmorth Duw yn ofer." Felly y Philistiad yn cael ei attal gan bwys ei arfogaeth, pan geisiodd gyfarfod â Dafydd gyd â brŷs, ni ddaeth ym mlaen ond yn anniben, megis yn ei ddiystyru ef, ac yn penderfynu y lladdai efe ef, yr hwn oedd yn anarfog ac yn ieuangc, heb anhawsdra yn y byd.

Ond y dyn ieuangc a gyfarfu â'i wrthwynebwr gyd ag anweledig gynnorthwywr, yr hwn nid oedd amgen na Duw ei hun. A chan gymmeryd o'r gôd un o'r cerrig a gawsai yn yr afon, a'i chymhwyso i'r dafl-ffon, efe a'i hergydiodd at y Philistiad. Y garreg hon a syrthiodd ar ei dalcen, ac a soddodd i'w ymmenydd, yn gymmaint a syfrdanu Goliah, a syrthio o hono ar ei wyneb. Felly Dafydd a redodd ac a safodd ar uchaf ei elyn fel yr oedd yn gorwedd ar y ddaear; torrodd hefyd ei ben ymaith â'i gleddyf ef, canys nid oedd ganddo un ei hunan. Ac ar gwymp Goliah y Philistiaid a orchfygwyd ac a ffoisant; canys pan welsant eu gorchestwr yn ymestyn ar y llawr, yr oeddynt yn ofni 'r canlyniad o'u hamgylchiadau, ac yn penderfynu nad arhosent yn hwy, ond a roisant eu hunain i fynu i ffoedigaeth gywilyddus ac annhrefnus, a thrwy hynny ymdrechasant i waredu eu hunain o'r perygl yr oeddynt ynddo. Eithr Saul a holl fyddin yr Hebreaid a wnaethant floedd, gan ruthro arnynt a lladd nifer mawr o honynt, gan erlid y lleill hyd derfynau Gath, ac hyd byrth Ecron.* Felly y lladdwyd o'r Philistiaid ddeng mil ar hugain, a chymmaint ddwywaith a glwyfwyd. Saul wedi hyn a ddychwelodd i'r gwersyll, wedi tynnu eu holl amddiffynfeydd yn ddrylliau, ac yna eu llosgi hwynt. Ond Dafydd a ddug ben Goliah i'w babell ei hun, ac a gyssegrodd y cleddyf i Dduw yn y tabernacl.

## PENNOD X.

*Am eiddigedd Saul at lwyddiant gorfoleddus Dafydd; ac am Briodas y Buddugoliaethwr hwnnw â Merch y Brenin.*

YN awr y gwragedd a fuant yn achos o genfigen a chasineb Saul tu ag at Ddafydd: canys hwy a ddaethant i gyfarfod y fyddin fuddugoliaethus â symbalau a thabyrddau, a phob arwyddion o lawenydd, ac a ganasant fel hyn; y gwragedd a ddywedasant, "Saul a laddodd ei amryw filoedd o'r Philistiaid." Y morwynion a attebasant, "Dafydd a laddodd ei ddeng miloedd."† Pan glybu y brenin hwynt yn canu y modd hwn, a bod y rhan leiaf yn cael ei chyfrif iddo ei hun yn y clodforedd; a'r rhan liosoccaf, y deng miloedd, yn cael eu cyfrif i'r gwr ieuangc; a phan ystyriodd nad oedd dim yn eisiau yn rhagor i Ddafydd, ar ol y fath anrhydedd, ond y deyrnas, efe a ddechreuodd fod mewn ofn a drwg-dybiaeth am Dafydd. Yn ganlynol efe a'i symmudodd ef o'r sefyllfa yr oedd efe ynddi o'r blaen; canys efe oedd iddo yn gludydd arfau, yr hyn o herwydd ei ofn a

* 1 Sam. xvii. 52.

† Sam. xviii. 7.



GOLIATH SLAIN BY DAVID.

Published by J. & J. Cundee, Albion Press London 1812.

ymddangosai yn sefyllfa ry agos atto; ac felly efe a'i gwnaeth yn bennaeth ar fil, ac a roddodd iddo swydd ragorach ynddi ei hun, ond fel y tybiai ef, yn fwy er ei hunan-ddiogelwch. Canys yr oedd yn meddwl ei ddanfon i gyfarfod y gelyn, ac i'r frwydr; gan obeithio y lleddid ef yn y fath ymdrechiadau peryglus.

Ond yr oedd Duw gan Dafydd i fyned gyd ag ef i ba le bynnag yr elai; ac yn ganlynol efe a lwyddodd yn fawr ym mhob peth a gymmerodd arno, yr hyn oedd i'w weled yn amlwg, yn gymmaint ag i ferch Saul, yr hon oedd etto yn wyryf, syrthio mewn cariad ag ef, a'i serch a'i gorchfygodd mor bell na ellid ei guddio, a'i thad a ddaeth yn adnabyddus o hono. Yn awr, Saul a fu dda ganddo glywed hyn, * gan fwriadu gwneuthur defnydd o hynny er magl i Ddafydd, ac efe a obeithiodd y profai yn achos o'i ddinystr. Felly efe a hyspysodd i'r rhai a ddywedasant wrtho am serchiadau ei ferch, ei fod yn ewyllysgar i'w rhoddi i Ddafydd yn wraig briodasol; ac a ddywedodd, "Mi a ymrwymaf fy hun i briodi fy merch ag ef, os dug efe i mi chwe' chant † o bennau fy ngelynion." Gan feddwl pan gynnygid gwobr mor helaeth iddo, ac yr amcanai at gael clod iddo ei hun drwy gymmeryd arno beth mor beryglus ac anghredadwy, yr ymosodai yn ddioed yn ei gylch, a thrwy hynny cael ei ddifetha gan y Philistiaid; a'i fwriadau ymherthynas iddo a lwyddai yn ol ei feddwl ef, fel y cai ryddhad oddiwrtho, ac y byddai iddo gael ei ladd, nid ganddo ef, ond drwy un arall. Felly efe a roddodd annogaeth i'w weision i brofi Dafydd â'r ammod yma o gael ei ferch yn briodas-wraig. Yn ganlynol, hwy a ddechreuasant ddywedyd wrtho, fod y brenin Saul yn ei garu ef, yn gystal a'r bobl oll; a'i fod ef yn chwennych ymgytathrachu ag ef drwy roddi ei ferch yn wraig iddo. I'r hyn y rhoddodd yr atteb yma: "Ai ysgafn yw yn eich golwg chwi fod i un gael ei wneud yn fab-yngnghyfraith i'r brenin? nid felly y mae 'n ymddangos i mi; yn enwedig pan wyf fi yn un o deulu gwael, heb anrhydedd neu ardderchowgrwydd yn perthyn i mi." Yn awr, pan fynegwyd i Saul attebiad Dafydd, gan ei weision, efe a ddywedodd, "Dywedwch wrtho nad oes arnaf eisiau dim arian, na chynnysgaeth, yr hyn a fyddai yn hytrach osod allan fy merch ar werth, na'i dodi yn briodasol: ond fy nymuniad yn unig yw cael y fath fab-ynghyfraith ag y mae calondid ynddo, a phob math o rinweddau eraill, yr hyn beth yr wyf yn canfod fod Dafydd yn ei feddiannu; a'm dymuniad yw derbyn ganddo ef, ar gyfrif cael fy merch yn briod, nid aur, nac arian, na dwyn gyd ag ef y fath gyfoeth o dŷ ei dad; ond yn unig rhyw ymddial ar y Philistiaid; ac yn wir cael chwe' chant o'u pennau hwynt a fyddai yr anrheg fwyaf dymunol a dewisol a ellid ei dwyn i mi; ac fe fyddai yn ddewisach gennyf gael hyn na 'r holl waddol neu gynnysgaeddau arferedig, i fy merch, sef bod iddi briodi â dyn o'r desgrifiad uchod, ac i un a gafodd dystiolaeth o'i fuddugoliaeth ar ei elynion."

Pan ddygpwyd y geiriau hyn o eiddo Saul at Ddafydd, efe a foddlonwyd â hwynt, gan feddwl fod Saul yn gwir ddymuno ei gyfathrachrwydd ag ef. Felly heb aros i ystyried y peth yn hwy, neu fwrw yn ei feddwl, pa un a oedd yr hyn a gynnygid yn bossibl, neu a ydoedd yn anhawdd neu beidio; efe a'i gymdeithion a ymosodasant yn ddioed ar y gelyn, gan fyned o amgylch i gyflawni yr hyn a osodwyd iddo fel ammodau priodas. Yn ganlynol, gan mai Duw a wnaeth bob peth yn hawdd ac yn bossibl i Dafydd, efe a laddodd amryw o'r Philistiaid, ac a dorrodd ymaith bennau chwe' chant o honynt; ac efe a ddaeth at y brenin, ac wrth ddangos iddo y pennau hyn o'r Philistiaid, efe a ofynnodd ei ferch yn briod. Yn ganlynol, Saul heb allu mewn un modd gilio oddiwrth ei rwymedigaethau, gan ei ystyried yn

* 1 Sam. xviii. 20.

† Y mae Josephus yn crybwyll deirgwaith yn y bennod hon, a dwywaith yn ol hynny, pen. xi. a Llyfr VII. pen. i. h. y. pumwaith i gyd, nad oedd gofyniad Saul yn chwe' chant o flaen-grwyn y Philistiaid, ond chwe' chant o'u pennau. Y Septuagint a grybwylla un cant o flaen-grwyn, ond y Syriac a'r Arabic dau cant. Yn awr, nad blaen-grwyn oeddynt, gyd â'r copiau eraill, ond pennau megis yng nghopiau Josephus, a ymddengys yn debygol oddiwrth 1 Sam. xxix. 4. ym mha le y dywed yr holl gopiau mai â phennau y fath Philistiaid y gallai Dafydd gymmodi ei hun â'i feistr Saul. Ac os yw copi Josephus yn gywir yno, yn wrthwyneb i'r lleill oll, byddai i mi ei ddewis hefyd o flaen y lleill i gyd yma, yn enwedig yn ei adroddiad o amldra eu rhifedi; sef, chwe' chant yn lle un cant yn y Septuagint, neu ddau cant yn y Syriaeg a'r Arabaeg.

beth gwael ac is law iddo ymddangos megis yn gelwyddog wedi addaw y briodas hon i Dafydd; neu ddangos ei hun yn ymddwyn yn fradychus tu ag atto, drwy ei osod ar yr hyn ag oedd mewn rhyw fodd yn amhossibl, i'r diben o'i ladd ef: o herwydd hyn efe a roddodd iddo ei ferch Michal yn wraig briod.*

## PENNOD XI.

*Am waredigaeth Dafydd rhag dichellion Saul, drwy garedigrwydd Jonathan, ynghyd â dyfais Michal.*

NID oedd Saul yn bwriadu parhau yn hir yn yr amgylchiad yr oedd ynddo yn bresennol; canys pan welodd Ddafydd mewn parch mawr gyd â Duw a dynion, yr oedd efe yn arswydo. Ac heb allu cadw ei ofn yn guddiedig, ymherthynas i'w deyrnas a'i fywyd, a chael ei ddifeddiannu o bob un oedd yn golled ddirfawr, efe a benderfynodd fod i Ddafydd gael ei ladd, ac a orchymmynodd i'w fab Jonathan a'i weision ffyddlonaf ei ddifetha ef. Ond yr oedd Jonathan yn rhyfeddu wrth ymddygiad ei dad tu ag at Dafydd; iddo newid i'r fath raddau, o ddangos iddo nid ychydig o ewyllys da, i ddyfeisio pa fodd y lladdai efe ef. Yn awr, o herwydd ei fod yn caru y gwr ieuangc, ac yn ei barchu oblegid ei rinwedd, efe a hyspysodd iddo y gorchymmyn dirgel a roddasid gan ei dad, a pha beth oedd ei amcanion ymherthynas iddo. Pa fodd bynnag, efe a'i cynghorodd i gymmeryd gofal, ac i fod yn absennol y dydd nesaf, oblegid y cyfarchai efe ei dad; ac os cyfarfyddai â derbyniad croesawgar, yr ymddiddanai ag ef ymherthynas iddo, fel y gwybyddai yr achos o'i gasineb, a dangos pa mor lleied o sail oedd iddo; ac na ddylai o'i blegid ladd dyn a wnaethai gymmaint o ddaioni i'r cyffredin, ac a fuasai yn llesol iddo ef ei hun: ar gyfrif yr hyn y dylai gyd â rheswm fadden iddo, pe buasai yn euog o'r beiau mwyaf. Efe hefyd a addawodd hyspysu iddo am fwriadau Saul ei dad. Yn ganlynol Dafydd a gydsyniodd a'r fath gynghorion manteisiol, ac a gadwodd ei hun o olwg y brenin.

* 1 Sam. xviii. 27.

Ar y dydd nesaf Jonathan a ddaeth at Saul, mor gynted ag y canfu ef o ymddygiad siriol, ac a ddechreuodd ddwyn ymddiddan i mewn ynghylch Dafydd. "Pa weithred anghyfiawn, bechan neu fawr, O fy nhad!" eb efe, "a gefaist mor annioddefol yn Dafydd, ag i'th annog di i beri i ni ladd dyn, yr hwn a fu o ddefnydd mawr i'th ddiogelu di; ac etto o fwy cospedigaeth i'r Philistiaid? dyn yr hwn a waredodd bobl yr Hebreaid oddiwrth waradwydd a dirmyg, yr hwn yr aethant dano am ddeugain niwrnod ynghyd; pan mai efe yn unig a gaed â chefnogrwydd ynddo i ddiddymmu gwaradwydd y gelyn: ac yn ol hynny a ddug gynnifer o bennau y gelynion ag a bennodwyd iddo; ac a gafodd fel gwobr am yr unrhyw fy chwaer yn briod: yn gymmaint ag y byddai ei farwolaeth ef o fawr dristwch i ni oll, nid yn unig ar gyfrif ei rinwedd, ond oblegid agosrwydd ein perthynas; canys dy ferch di a golledir yn fawr wrth ei ladd ef, ag sydd raid iddi fod yn brofiadol o weddwdod, cyn y gall ddyfod i fwynhau manteision oddiwrth eu cydgyfeillach. Ystyria 'r pethau hyn, a newid dy feddyliau i dymmer fwy trugarog, ac na wna niweid i ddyn, yr hwn yn y lle cyntaf a wnaeth i ni y gymmwynas fawr o'th achub di. Canys wedi i'r drwg-ysprydion dy orddiwes a'th flino di, efe a'u bwriodd allan, ac a barodd esmwythdra i ti oddiwrth eu rhuthriadau: ac yn yr ail le, efe a'n dïalodd oll ar ein gelynion; canys brwnt a gwarthus ydyw anghofio y fath ymwared." Felly Saul a larieiddiwyd â'r geiriau hyn, ac a dyngodd wrth ei fab na wnai i Ddafydd ddim niweid: canys ymddiddaniad cyfiawn a brofodd yn drech na llidiowgrwydd ac ofn y brenin. Felly Jonathan a ddanfonodd am Dafydd, ac a ddug newyddion da iddo oddiwrth ei dad, sef ei fod i gael ei arbed: efe hefyd a'i dug ef at ei dad; a Dafydd a barhaodd gyd ag ef fel cynt. †

Ynghylch y pryd hyn ‡ yr oedd, ar wneuthuriad y Philistiaid o ymgyrch newydd drachefn yn erbyn yr Hebreaid, ddarfod i Saul anfon Dafydd â byddin i ymladd â hwynt: ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr, efe a laddodd

† 1 Sam. xix. 7. ‡ Ynghylch 1101 c. c.

lawer o honynt; ac yn ol y fuddugoliaeth efe a ddychwelodd at y brenin. Ond nid oedd ei dderbyniad gyd â Saul y cyfryw ag a ddisgwyliodd ar ol y fath ymdrech, canys yr oedd yn ofidus ganddo o herwydd ei lwyddiant; am dybied o hono y byddai o fwy niweid iddo ef, wedi gweithredu mor glodfawr. Ond pan ddaeth y drwg-yspryd arno ef, a'i ddodi mewn anhwyl, a'i aflonyddu, efe a alwodd Dafydd i'w ystafell-wely, ym mha un y gorweddai: ac a chanddo waywffon yn ei law, efe a orchymmynodd iddo ei ddiddanu drwy chwarae ar ei delyn, a chanu hymnau; yr hyn pan wnaeth Dafydd megis y gorchymmynodd, efe gyd â nerth mawr a ergydiodd atto y waywffon. Ond Dafydd yn deall am gyfeiriad yr ergyd cyn ei dyfod, a'i gochelodd, ac a ffôdd i'w dŷ ei hun, ac a arosodd yno drwy yr holl ddiwrnod hwnnw.*

Eithr wedi ei myned yn nos, y brenin a anfonodd swyddogion, gan orchymmyn ei wylied hyd y bore, rhag diangc o hono ymaith yn llwyr; fel y dygid ef i'r dadleudy, ac felly y rhoddid ef i fynu i'w gondemnio, ac i'w ladd. Ond pan ddeallodd Michal, gwraig Dafydd, yr hyn oedd ei thad ar fedr ei wneuthur, hi a ddaeth at ei gwr megis ag ychydig obaith am ei achub, a chyd ag ofn mawr am ei bywyd ei hun hefyd, canys ni wyddai pa fodd y byddai fyw os ymddifadid hi o hono ef. A hi a ddywedodd, "Na chyfoded yr haul arnat yma; canys os gwna, dyna 'r tro olaf iddo dy weled di; ffo, gan hynny, tra y rhydd y nos gyfleusdra i ti; ac estyner hi er dy fwyn gan Dduw; canys os fy nhad a'th orddiwes di, yr ydwyt yn ddyn marw." Felly hi a'i gollyngodd i lawr wrth raff allan o ffenestr, a thrwy hynny a'i hachubodd. Ac ar ol gwneuthur hynny, hi a gyweiriodd i fynu wely iddo ef, megis pe buasai efe yn glaf; ac a ddododd dan y dillad † afu gafr: ac wedi i'w thad, mor gynted ag yr aeth yn ddydd, ddanfon i gymmeryd Dafydd, hi ddywedodd wrth y cennadau na buasai yn iach yn y nos aeth heibio, gan ddangos iddynt y gwely wedi ei daenu; gan wneud iddynt gredu, wrth lamiad yr afu, yr hyn a barai i ddillad y gwely hefyd i symmud, fod Dafydd yn anadlu fel un a chlefyd yr ysgyfaint arno. Felly wedi i'r rhai a ddanfonwyd fynegi hyn i Saul, na buasai Dafydd iach yn y nos flaenorol, efe a barodd ei ddwyn atto yn y cyflwr hwnnw, canys yr ydoedd ar fedr ei ladd ef. Yna, pan ddaethant drachefn a diorchuddio 'r gwely, a chael allan ddyfais y wraig, dywedasant hynny i'r brenin. Ac wedi achwyn o'i thad wrthi ddarfod iddi achub ei elyn, a gwneuthur twyll iddo ef, hi a ddyfeisiodd yr esgusodiad tebygol hwn, ac a ddywedodd, Mai wedi bygwth o hono ei lladd, ddarfod iddi fenthycca ei chynnorthwy iddo gan ei ofn, ar gyfrif yr hyn y dylid maddeu iddi, oherwydd na wnaethai hynny o ddewisiad ond o angenrheidrwydd: "Canys" eb hi, "yr wyf yn tybio nad oeddit mor chwannog i ladd dy elyn, ag i mi gael fy achub." Yn ganlynol, Saul a faddeuodd i'r llangces. Ond Dafydd wedi iddo ddiangc ar y perygl hwn, a ddaeth at y prophwyd Samuel i Ramah, ac a ddywedodd iddo pa faglau a osodasai y brenin iddo; ac mor agos y bu i angau drwy ergydiad y waywffon atto gan Saul, er na fuasai efe mewn un modd yn euog ymherthynas iddo, ac na buasai yn esgeulus mewn brwydrau â'i elynion; ond a oedd wedi llwyddo yn dda ynddynt oll drwy gymmorth Duw; yr hyn mewn gwirionedd a fu 'n achlysur o gasineb Saul tu ag at Ddafydd.

Wedi i'r prophwyd gael gwybod am ymddygiadau anghyfiawn y brenin, efe a adawodd ddinas Ramah, gan gymmeryd Dafydd gyd ag ef i ryw le a elwid Naioth; ‡ ac yno yr arosodd gyd ag ef. Ond pan fynegwyd i Saul fod Dafydd gyd a'r prophwyd, efe a ddanfonodd filwyr atto, gan orchymmyn iddynt ei gymmeryd a'i ddwyn atto ef. A phan ddaethant at Samuel, ac y cyfarfuant yno â chynnulleidfa o brophwydi, hwy a ddaethant yn gyfrannog o'r Dwyfol Yspryd, ac a ddechreuasant brophwydo. Yr hyn pan glybu Saul am dano, efe a

* 1 Sam. xix. 10.

† Yn gymmaint a bod yr Iuddewon diweddar wedi colli iawn ystyr y gair Hebraeg, a arferir yma, Cebir; a chan fod y Septuagint, yn gystal a Josephus, yn ei gyfieithu, Afu yr afr; a'r cyfieithiad hwn, a hanes Josephus yma yn fwy ciir a thebygol na 'r eiddo eraill; y mae agos yn rhy anhawdd cyfrif yr achos o fod ein hesponwyr yn peitruso ynghylch yr iawn ystyr o hono.

‡ 1 Sam. xix. 18.

ddanfonodd rai eraill at Ddafydd; y rhai wedi prophwydo o honynt yn gyffelyb i'r cennadau cyntaf, efe drachefn a ddanfonodd eraill; ac a'r trydydd rai yn prophwydo hefyd, efe o'r diwedd a ddigiodd, ac a aeth yno gyd â brŷs ei hunan. Ond pan ydoedd yn agos i'r lle, Samuel, cyn ei weled, a wnaeth iddo ef brophwydo hefyd. A phan ddaeth Saul atto ef, yr ydoedd mewn terfysg meddwl,* a than danbaid weithrediadau rhyw ysbryd: ac wedi † diosg ei wisgoedd efe a syrthiodd i lawr, ac a orweddodd ar y llawr yr holl ddiwrnod a'r nos honno, o flaen Samuel a Dafydd.

A Dafydd a aeth ymaith, ac a ddaeth at Jonathan, mab Saul, ac a alarodd wrtho oblegid y maglau a osodid iddo gan ei dad; ac a ddywedodd, mai er na fuasai ef yn euog o un bai, ac na throseddasai i'w erbyn, etto yr ydoedd efe yn dra llidiog, ac am gael ei ladd ef. Ar hyn Jonathan a'i hannogodd ef i beidio a chynnwys y fath ddychymmygion ammhëus, na gwrando ar enllib y rhai a adroddent chwedlau gau, os oedd rhai a wnaent hynny; ond i hyderu arno ef a chymmeryd calondid; oblegid nad oedd gan ei dad y fath fwriadau; ac y buasai yn ei wneud ef yn hyspys o'r matter hwnnw, ac yn ymgynghori ag ef, pe buasai y peth felly; gan ei fod yn arferol o wneuthur hynny yn gyffredin ar achosion eraill. Ond Dafydd a wnaeth lw wrtho ef mai dyna fel yr oedd: ac efe a ddymunodd arno yn hytrach ei gredu, a pharottoi at ei ddiogelwch na diystyru yr hyn yr oedd efe, gyd â difrifwch, yn ei ddywedyd wrtho: y byddai iddo gredu yr hyn yr oedd yn ei ddywedyd pan welai efe ef wedi ei ladd neu ei wybod drwy glywed am dano gan eraill, ac mai y rheswm o herwydd pa un nad oedd ei dad yn mynegi iddo am y pethau hyn ydoedd, ei fod yn deall am y cyfeillach a'r caredigrwydd oedd rhyngddo ag efe.‡

Pan gafodd Jonathan fod y bwriadau hyn o eiddo Saul yn cael eu gwirio, efe a ofynodd pa beth a fynnai iddo ef ei wneuthur drosto? i'r hyn yr attebodd Dafydd, "Yr wyf yn teimlo dy fod di yn ewyllysgar i'm diwallu ym mhob peth, a cheisio yr hyn yr wyf yn ei ofyn. Y foru yw dydd y newydd-loer; ac yr oeddwn yn arferol o eistedd i lawr y pryd hwnnw gyd â'r brenin i swppera. Os gweli di yn oreu myfi a af allan o'r ddinas, ac a ymguddiaf yn ddirgel. Ac os ymofyna Saul pa ham yr ydwyf yn absennol, dywed fy myned i ddinas Bethlehem, i gadw gŵyl gyd â fy llwyth fy hun; a chwanega hefyd, ddarfod i ti gydsynio â hynny. Ac os dywed efe, megis yr arferir dywedyd am gyfeillion a aethant oddi cartref, da y gwnaeth efe fyned; yna sicrha it' dy hun nad oes ddrygau cuddiedig neu elyniaeth i'w ofni oddi ar ei ddwylaw ef. Ond os ettyb mewn modd arall, bydd hynny yn arwydd sicr o ryw fwriadau ynddo i'm herbyn. Yn ganlynol tydi a wnai yn hyspys i mi dueddiadau dy dad, a hynny o dosturi tu ag attaf, a'th garedigrwydd i mi; fel arwyddion o ba gyfeillach, ti a ganiatteaist wneud derbyniad o sicrwydd fy nghharedigrwydd i ti; a rhoddi o honot y cyffelyb sicrwydd i minnau; hynny yw, yr eiddo meistr i'w weinidog. Ond os wyt yn canfod rhyw ddrygioni ynof fi, rhagflaener dy dad gennyt ti, a lladd fi dy hun."§

Ond Jonathan a wrandawodd y geiriau olaf hyn gyd ag eiddigedd; ac a addawodd wneuthur pa beth bynnag a ddymmunai ganddo; a hyspysu iddo am attebiad ei dad, pa un a fyddai yn arwyddo rhyw beth o natur beryglus, a gelyniaeth i'w erbyn. Ac fel y gallai yn fwy

* Fe ymddengys nad oedd y cynnyrfiadau hyn o'r eiddo Saul yn amgen na demonaidd; a bod yr un demon a arferai ei feddiannu ef wedi ei adael gan Dduw, a'r hwn yr oedd yr hymnau dwyfol a'r salmau a genid gyd â thelyn Dafydd yn arferol o'i fwrw allan, wedi ei orddiwes yn awr mewn ffordd o farn, nid yn unig i siommi ei fwriadau yn erbyn Dafydd ddiniweid, ond i'w osod yn ddirmyg i bawb a'i gwelent ef, neu a glywai am ei gynnyrfiadau; gan na byddai y fath gynnyrfiadau gwyllt a rhuthrol fyth i'w canfod yn y gwir brophwydi, pan fyddent dan addysgiadau Yspryd Duw. Ein copiau eraill, y rhai a ddywedant ddyfod yspryd Duw arno, a ymddangosant heb fod mor gywir yma a chopi Josephus, yr hwn ni chrybwylla ddim oll am Dduw. Ac nid yw Josephus yn cyfrif y cymhelliad a'r bloddest yma o'r eiddo Saul i ddim arall ond ei hen yspryd demonaidd, yr hwn ar bob cyfrif sydd yn ymddangos yn fwyaf tebygol. Ac nid yw 'r desgrifiad blaenorol o wir ysprydoliaeth Saul gan yr yspryd dwyfol, 1 Sam. x. 9---12. Hynaf. V 4. (yr hyn oedd cyn ei ddyfod yn ddrygionus,) yn iawn gyttuno â'r desgrifiad uchod.

† Yr hyn a feddylir am Saul yn gorwedd i lawr yn noeth dros yr holl ddydd a'r nos honno, 1 Sam. xix. 24. a pha un a oedd yn chwaneg na dodi heibio ei frenhinol wisg, neu ddillad uchaf, megis yr ymddengys fod Josephus yn ei ddeall, nid yw mewn un modd yn sicr.

‡ 1 Sam. xx. 3. § 1 Sam. xx. 8.

hyderus ymddiried iddo, efe a'i cymmerodd gyd ag ef allan i'r maes, dan yr awyr glir, gan dyngu na esgeulusai ddim a dueddai i'w ddiogelwch; ac a ddywedodd, "Yr wyf yn appelio at Dduw, yr hwn, fel y gwyddost, sy 'n bresennol ym mhob lle, ac yn deall fy amcan hwn, cyn ei amlygu mewn geiriau, ac yn ei alw yn dyst o'm cyfammod â thi: na fydd im' roddi heibio wneuthur mynych brofiad o fwriadau fy nhad, a gwybod a oes rhyw anhwyl yn llechu yn rhannau dirgelaf ei enaid; a phan wybyddwyf hyn, ni fydd i mi ei guddio rhagot ti; ond yn ebrwydd a'i datguddiaf, pa un a fydd yn llariaidd neu yn ddigllon ei dymheran. Canys hyn a ŵyr Duw ei hun, mai fy ngweddi yw, ar ei fod ef bob amser gyd â thi; canys y mae gyd â thi yn awr, ac ni âd mo honot, ond a wna i ti ragori ar dy elynion; pa un ai bod fy nhad yn un o honynt, neu fod fy hun felly. Bydded i ti yn unig gofio yr hyn ydym yn awr yn ei wneuthur: ac os digwydd i mi farw, cadw fy mhlant yn fyw, a thal iddynt hwy y caredigrwydd yn awr a dderbyniaist." Wedi iddo wneuthur y llw hwn, efe a adawodd i Ddafydd fyned ymaith, gan erchi iddo fyned i ryw wastadedd lle 'r arferai rodio ynddo. Canys mor gynted ag y gwybyddai feddwl ei dad, efe a ddeuai yno atto, gyd ag un o'i weision; ac "Os," eb efe, "y bydd i mi saethu tair saeth at ryw nod, ac yna peri i'm gwas ddwyn y saethau hynny ymaith, o herwydd eu bod o'i flaen ef, gwybydd di na fydd ddim niweid i'w ddisgwyl oddiwrth fy nhad: ond os clywi fi yn dywedyd i'r gwrthwyneb, disgwyl am wrthwyneb driniaeth oddiwrth y brenin.* Pa fodd bynnag, fe fydd diogelwch i ti drwy fy amddiffyniad i, ac ni oddefi mewn un modd ddim niweid. Ond edrych na fyddo i ti anghofio yr hyn a ddymunais gennyt yn amser dy lwyddiant, a bydd yn ddiwallwr i'm plant. Yna Dafydd wedi derbyn y sicrwydd hyn gan Jonathan, a aeth ymaith i'r lle appwyntiedig.

Ar y dydd nesaf, yr hwn ydoedd ŵyl y newydd-loer, y brenin, wedi puro ei hun yn ol yr arfer, a ddaeth i swppera, ac fel yr oedd efe yn eistedd, a'i fab Jonathan ar y llaw ddehau, ac Abner, blaenor ei lu, ar y llaw arall, efe a ganfu eisteddle Dafydd yn wag, ond heb ynganyd dim; gan feddwl ei fod heb ei buro ei hun, ac felly na 's gallai fod yn bresennol. Ond pan welodd nad oedd efe yno yr ail ddydd o'r mis, efe a ymofynodd â Jonathan pa ham na ddaethai mab Jesse i'r swpper a'r wledd, y diwrnod hwnnw na 'r dydd o'r blaen? Jonathan a attebodd, fyned o hono, yn ol cyttundeb rhyngddynt, i'w ddinas ei hun, lle y cedwid gŵyl gan ei lwyth ef, a hynny drwy ei gydsyniad ef; a darfod hefyd iddo ei gymmell ef i ddyfod i'w haberth; "Ac," eb Jonathan, "os rhoddi i mi gennad, myfi a af yno, canys ti a wyddost fy ewyllys da iddo ef." Ac yna y bu ddarfod i Jonathan ddeall am gasineb ei dad i Ddafydd, ac a wybu yn amlwg ei hollol dueddiad. Canys ni allai Saul attal ei lidiowgrwydd, ond a waradwyddodd Jonathan, gan ei alw yn fab ffoadur, ac yn elyn, ac a ddywedodd ei fod yn gydweithydd a chynnorthwywr i Ddafydd; ac mai drwy 'r ymddygiad yma ei fod yn dangos nad oedd ganddo barch iddo ei hun, nac i'w fam; ac ni fynnai ei berswadio, mai tra 'r oedd Dafydd yn fyw, na sicrhäid eu teyrnas iddynt hwy. Etto efe a barodd iddo anfon am dano fel y cospid ef. A phan ddywedodd Jonathan mewn attebiad, "Pa beth a wnaeth efe fel y cospid ti ef?" Saul heb allu boddloni ei hun yn hwy ar amlygu ei ddigter mewn geiriau noeth, a gippiodd ei waywffon ac a neidiodd arno ef, gyd â dymuniad i'w ladd. Ni wnaeth efe yn wir yr hyn a amcanodd, o herwydd ei attal gan ei gymdeithion: ond fe ymddangosodd yn amlwg i'w fab ei fod yn casau Dafydd, ac yn mawr ewyllysio ei ddifetha; yn gymmaint ag iddo yn agos ladd ei fab â'i ddwylaw ei hun o'i blegid ef.

Mab y brenin a gyfododd yn ddisymmwth oddi ar swpper, ac efe yn analluog i gymmeryd dim yn ei enau o herwydd ei ofid, ond a wylodd dros yr holl nos, o herwydd ei fod ei hun yn agos i'w ddinystrio, ac o herwydd penderfynu am farwolaeth Dafydd. Ond mor gynted ag yr aeth yn ddydd, efe a aeth allan i'r gwas-

1 * Sam. xx. 22.

tadedd o flaen y ddinas, megis i gyflawni ei orchwyliaethau; ond, mewn gwirionedd, i hyspysu i'w gyfaill o ba dymmer neu duedd yr oedd ei dad tu ag atto, fel y cyttunasai ef. Ac wedi i Jonathan gwblhau yr hyn a gyttunwyd felly arno, efe a ddanfonodd ei was ymaith, yr hwn oedd yn ei ganlyn ef, i ddychwelyd i'r ddinas; eithr efe ei hun a aeth i'r diffeithwch ar ol Dafydd, gan ddyfod i'w bresennoldeb, ac ymddiddan ag ef. Felly Dafydd a ymddangosodd ac a syrthiodd wrth draed Jonathan, gan ymgrymmu iddo, a'i alw yn achubydd ei enaid. Ond efe a'i cyfododd i fynu oddi ar y ddaear, gan hir ymgofleidio eu gilydd, a thywallt dagrau. Hwy hefyd a alarasant o herwydd eu hoedran a'u cyfeillgarwch, yr hwn y byddai i gynfigen eu hymddifadu o hono, a'r ysgariad yr hwn yr oeddynt yn awr i'w ddisgwyl, yr hwn a ymddangosai iddynt yn ddim gwell na marwolaeth ei hun. Felly gan adferu eu hunain o'r diwedd o'u galar, ac annog eu gilydd i fod yn ystyriol o'r llwon a gyd-dyngasant, hwy a ymadawsant ymaith.*

## PENNOD XII.

*Am ffoedigaeth Dafydd: yn gyntaf at Ahimelech, ac ar ol hynny at Frenhinoedd y Philistiaid a'r Moabiaid; ac am ddinystr Ahimelech a'i deulu.*

DAFYDD yn awr a ffodd oddiwrth y brenin, a'r farwolaeth ag oedd efe mewn perygl o honi o'r blaen, ac a ddaeth i ddinas Nob, at Ahimelech† yr offeiriad, yr hwn pan welodd ef yn dyfod yn unig, heb gydymaith na gwas gyd ag ef, efe a ryfeddodd tu ag atto, gan ddymuno gwybod yr achos pa ham nad oedd neb gyd ag ef. I'r hyn yr attebodd Dafydd, Fod y brenin wedi ei orchymmyn i wneud rhyw beth ag oedd i'w gadw yn ddirgel, i'r hyn, os dymunai wybod, nid oedd raid iddo wrth neb gyd ag ef. "Pa fodd bynnag," eb efe, "mi orchymmynais i'm gweision fy nghyfarfod yn y lle a'r lle:" Felly efe a ddymunodd arno roddi rhyw luniaeth iddo; yr hyn os gwnai, efe a ymddygai fel cyfaill tu ag atto, ac a fyddai yn gynnorthwyol i ddwyn yr achos presennol o amgylch. Ac wedi iddo gael yr hyn a ddymunodd, efe hefyd a ofynodd a oedd yno ddim arfogaeth gyd ag ef, sef cleddyf neu waywffon? Yn awr yr oedd yn Nob weinidog i Saul, Syriad‡ o enedigaeth, enw 'r hwn ydoedd Doeg; un ag oedd yn golygu assynod y brenin. Yr archoffeiriad a attebodd nad oedd ganddo y cyfryw arfogaeth: ond a chwanegodd ddywedyd, "Y mae yma gleddyf Goliah, yr hwn, wedi i ti ladd y Philistiad, a§ gyssegraist i Dduw."

Wedi i Dafydd dderbyn y cleddyf, efe a ffodd o wlad yr Hebreaid i wlad y Philistiaid, ar ba un yr oedd Achish yn teyrnasu. Ac wedi i weision y brenin ei adnabod ef, a'i wneuthur yn adnabyddus i'r brenin ei hun; wedi i'r gweision hyspysu mai efe oedd y Dafydd hwnnw yr hwn a laddasai lawer deng miloedd o'r Philistiaid, Dafydd a ofnodd rhag i'r brenin ei osod i farwolaeth, ac y cyfarfyddai â'r niweid hwnnw a ddiangasai rhagddo oddi wrth Saul: felly efe a gymmerodd arno ei fod yn wallgofus ac yn gynddeiriog; gan fwrw ewyn o'i enau, a gwneuthur y cyfryw bethau eraill ger bron brenin Gath, ag a barai iddo gredu eu bod yn tarddu oddiwrth y fath anhwyldeb. Yn ganlynol, y brenin ydoedd yn dra digllon wrth ei weision am ddwyn atto ddyn gwallgofus; || ac a roddodd orchymmyn iddynt yn ddioed fwrw Dafydd allan o'r ddinas.

Wedi i Dafydd ddiangc y modd hwn allan o Gath, efe a ddaeth i derfyn llwyth Judah, ac a drigodd mewn ogof wrth y ddinas Adulam. Yna y bu iddo anfon at ei frodyr, ac yr hyspysodd iddynt pa le yr ydoedd, y rhai yn ol hynny a ddaethant atto ef, a'u holl garennydd, a chyn-

* 1 Sam. xx. 42.

† Pa un ai'r Ahimelech yma o deulu Ithamar, neu Abiathar o'r un teulu, oedd yr archoffeiriad Iuddewig pan ddaeth Dafydd i Nob, gwel fy ymadrodd yn niwedd fy Nhraethawd ar Ddatguddiad St. Ioan, yn gyflawn. Meddyliodd Josephus mai Ahimelech oedd y pryd hwnnw yn archoffeiriad, yr hyn a ymddengys yn wrthwyneb i eiriau ein Hiachawdwr, Marc ii. 25, 26. Fy meddwl yw hyn, oddi eithr fod, mewn effaith, ddau archoffeiriad yr un amser; un o deulu Eleazar, a'r llall o'r un hynny o Ithamar; un yn Ahimelech, a'r llall yn Abiathar; a bod ein Hiachawdwr yn cyfrif Abiathar felly yn fwyaf priodol; yr hyn nid yw amhossibl ei ddychymmygu.

‡ Edomiad yn yr Hebraeg; Syriad yn y Septuagint.

§ Hynaf. VI. 9.

|| 1 Sam. xvi. 15.

nifer eraill ag oedd mewn eisiau, neu yn ofni Saul, gan wneuthur eu hunain i fynu yn un corph, a dywedyd eu bod yn barod i ufuddhau i'w reolau. Yr oeddynt oll yn bedwar cant o nifer. Ar yr hyn y cymmerodd galondid wedi i'r fath lu o amddiffynwyr ddyfod atto. Felly efe a symmudodd ymaith, ac a ddaeth at frenin y Moabiaid, gan ddymuno arno groesawu ei rïeni ef yn ei wlad, tra 'r oedd ei amgylchiadau ef mewn trefn mor ansicr. Y brenin a ganiattaodd y ffafr hon iddo, ac a barchodd rïeni Dafydd yn fawr tra buont yn eu mysg hwynt.

Ymherthynas iddo ei hun, *ar orchymmyn y prophwyd iddo adael y diffeithwch, a myned i randir llwyth Judah, ac aros yno, efe a gydsyniodd: a chan ddyfod i ddinas Hareth, yr hon oedd yn y llwyth hwnnw, efe a arhosodd yno. Yn awr, wedi i Saul glywed ddarfod gweled Dafydd â lliaws o'i amgylch, efe a syrthiodd i drallod a binder meddwl nid ychydig. Ond fel y gwyddai ef, fod Dafydd yn wr eofn a chalonnog, efe a ddychymmygodd yr ymddangosai rhyw beth hynod drwyddo ef, a hynny yn gyhoeddus hefyd, yr hyn a barai iddo alaru a'i ddodi mewn cyfyngder. Felly efe a alwodd ynghyd ei gyfeillion a'i flaenoriaid, a'r llwyth o'r hwn yr oedd efe ei hun yn tarddu, i'r bryn ar ba un yr oedd ei balas yn sefyll: a chan eistedd ar y lle a elwid Aroura, a gwŷr anrhydeddus ei lys, a gwylwyr ei gorph o'i amgylch, efe a lefarodd y modd hwn wrthynt: "Chwychwi ag ydych wŷr o'm llwyth fy hun, cofiwch y cymmwynasau a wnaethum i chwi; im' wneuthur rhai o honoch yn etifeddion ar diroedd, eraill yn flaenoriaid byddinoedd, a rhai mewn swyddau eraill o anrhydedd; rhai yn olygwyr ar y cyffredin bobl, eraill ar y milwyr. Yr wyf, gan hynny, yn gofyn i chwi, a ydych yn disgwyl ychwaneg o ffafr gan fab Jesse? canys yr wyf yn gwybod eich bod oll yn gogwyddo atto ef; ïe, fy mab fy hun Jonathan sydd o'r tuedd hwnnw, yr hwn a'ch perswadia i fod o'r unrhyw dyb. Canys nid wyf yn anhyspys o'r llwon a'r cyfammodau sydd rhyngddo ef a Dafydd; a bod Jonathan yn gynghorwr ac yn gynnorthwywr i'r rhai a gydfradfwriadant i'm herbyn, ac nid oes neb o honoch yn ystyriol o blegid y pethau hyn; ond yr ydych yn aros yn ddistaw i edrych beth a fydd canlyniad y pethau hyn". Wedi i'r brenin ddiweddu ei ymadrodd ni wnaeth un o'r rhai oedd yn bresennol ddim attebiad: ond Doeg y Syriad,† yr hwn a borthai ei assynod, a ddywedodd weled o hono Ddafydd, pan ddaeth efe i ddinas Nob, at Ahimelech yr archoffeiriad; a'i fod yn dysgu gwybod am bethau a ddeuai yn ol-llaw drwy ei ragfynegiad ef: a darfod iddo dderbyn lluniaeth ganddo, a chleddyf Goliah; ac a gyfarwyddwyd ganddo ef yn ddiogel i'r lle yr oedd yn ewyllysio myned.

Saul, gan hynny, a ddanfonodd am yr archoffeiriad, a'i holl dylwyth ef; ac a ddywedodd wrtho, "Pa ryw beth arswydus neu annymunol a dderbyniaist oddi ar fy llaw i, pan y derbyniaist fab Jesse, ac y cyfrennaist iddo ymborth ac arfau, yn ei ymgais am y deyrnas: ac ymhellach, paham yr ymgynghoraist â'r oracl, gan ragfynegi iddo am bethau i ddyfod? canys ni ellit fod yn anhyspys o'i fföedigaeth oddi wrthyf fi, a'i fod yn casau fy nheulu." Ond ni cheisiodd yr archoffeiriad wadu yr hyn a wnaethai; ond a gyffesodd yn hŷ iddo ef ei ddiwallu â'r pethau hynny; nid i foddhau Dafydd, ond Saul ei hun; ac efe a ddywedodd, "Nis gwyddwn i ei fod yn elyn, ond yn hytrach yn was i ti; yr hwn a fuasai yn dra ffyddlon, ac yn flaenor ar fil o dy filwyr, a pheth sydd fwy na hyn yn fab-yngnghyfraith i ti. Nid yw dynion yn arfer cyfrannu y fath ffafr i'w gelynion; ond ar y rhai a gyfrifir fod eu hewyllys da a'u parch yn fwyaf tu ag attynt. Ac nid hwn oedd y tro cyntaf i mi brophwydo iddo ef; ond a'i gwnaethum amserau o'r blaen yn gystal ag yn awr. A phan ddywedodd ei fod wedi ei anfon gennyt ti i gyflawni rhyw beth gyd â brys mawr, pe na buaswn yn ei ddiwallu â dim o'r pethau a ofynodd, tybiaswn wneuthur o honof hynny yn hytrach mewn gwrthwynebiad i ti nag iddo ef. O herwydd pa ham na chynnwys feddyliau drwg am danaf, ac na farna yn galed am yr

* Ynghylch Bl. 1099.

†Neu Edomiad.

hyn a dybiais y pryd hynny yn weithred o ddynoliaeth, yn wahanol i'r hyn a fynegir i ti yn awr am ymgais Dafydd yn dy erbyn; canys yr oeddwn i yn gwneud iddo ef megis i'th gyfaill a'th fab-ynghyfraith, a chadben ar fil, ac nid gelyn i ti."

Amddiffyniad yr archoffeiriad, pa fodd bynnag, ni chafodd ddim effaith ar Saul, canys ei ofn ydoedd a'r fath oruwch-lywodraeth arno, na allai roddi cred i unrhyw amddiffyniad er ei wneuthur yn gyfiawn. Felly efe a orchymmynodd i'w wŷr arfog ei ladd ef, a'i holl geraint: ond fel na feiddient hwy gyffwrdd â'r archoffeiriad, gan eu bod yn ofni yn fwy anufuddhau i Dduw, nag oedd y brenin; efe a orchymmynodd i Doeg y Syriad eu lladd hwynt. Yn ganlynol, efe a gymmerodd y fath ddrwg-ddynion ag oedd gyffelyb iddo ei hun yn gynnorthwywyr, ac a laddodd Ahimelech a'i deulu, y rhai oeddynt oll yn dri chant a phump a phedwar ugain.* Saul hefyd a ddanfonodd wŷr i Nob,† dinas yr offeiriaid, ac a laddasant y rhai oll oeddynt yno, heb arbed gwragedd na phlant, nag un oedran arall, ac yna hwy a'i llosgasant hi. Yn unig yr ydoedd un mab i Ahimelech, enw yr hwn oedd Abiathar, a ddiangodd.‡ Pa fodd bynnag y pethau hyn a ddaethant i ben megis y rhagddywedodd Duw wrth Eli yr archoffeiriad; pan ddywedwyd y difethid ei hiliogaeth ef, ar gyfrif troseddiad ei feibion.

Yn awr Saul § wedi gorchymmyn y fath alanastra, drwy lofruddio teulu cyfan perthynol i'r archoffeiriadaeth, heb ddangos tosturi i fabanod, na pharch i'r rhai oedrannus; a thrwy ddadymchwelyd y ddinas hefyd a ddewisasai Duw yn eiddo ac yn gynnaliaeth i'r offeiriaid a'r prophwydi oedd yno; ac a'i hordeiniasid fel unig ddinas ag addysgiadau ynddi i'r fath ddynion; hyn a bar i ni ddeall ac ystyried cynneddfau dynion; mai tra maent yn bersonau unigol a neillduol, ac mewn amgylchiad isel, o herwydd nad yw yn eu gallu gynnwys, neu anturio yr hyn a ewyllysient, y maent yn iawndda a chymmedrol, ac heb ymgais â dim ond sydd gyfiawn, gan ogwyddo eu holl feddyliau a'u hymdrechiadau y ffordd honno: yna y mae fod ganddynt y grediniaeth yma am Dduw, ei fod ef yn bresennol yn holl ymarferiadau eu bywyd; a'i fod ef nid yn unig yn gweled y gweithredoedd a gyflawnir, ond sydd yn eglur adnabod y meddyliau o ba rai y mae'r gweithredoedd yn tarddu. Ond pan unwaith y dyrchefir hwy i awdurdod ac anrhydedd, y maent yn gosod heibio bob cyfryw feddyliau; ac megis pe na byddent yn ddim amgen na chwareyddion mewn chwareudy, yn dodi o'r neilldu eu moddau a'u hymddygiadau ffugiol, ac yn cymmeryd attynt hyfdra, rhyfyg, a dirmyg ar gyfreithiau dynol a dwyfol. A hynny mewn amser ag y maent yn sefyll mewn angen neillduol o dduwioldeb a chyfiawnder; o herwydd yna y maent yn ddarostyngedig i gynfigen, a'r hyn oll a feddyliont ac a ddywedont ydynt yngolwg pob dyn; yna y mae eu bod yn myned mor drahaus a rhyfygus yn eu gweithrediadau, megis pe na bai Duw yn eu canfod mwyach, neu yn ofnus o honynt oblegid eu hawdurdod. A pha beth bynnag yw'r hyn a font yn ei ofni drwy'r chwedlau a glywant, neu a fyddont o duedd yn ei gasâu, neu yn ei garu heb reswm, y pethau hyn a ymddengys iddynt hwy yn achlysuron digonol, cadarn, a gwir, ac yn foddlonol i Dduw a dyn. Ond am yr hyn a ddel yn ganlynol, nid ydynt yn gofalu yr hyn lleiaf o'i herwydd. Hwy a ddyrchafant

---

* Pump a phedwar ugain, Hebr. Tri chant a phump, Septuagint.

† Nid ydoedd Nob ddinas wedi ei threfnu i'r offeiriaid; ac nid oedd i'r prophwydi, am a wyddom ni, unrhyw ddinasoedd neillduol wedi eu pennodi. Fe ymddengys fod y tabernacl yn awr yn Nob; ac o bossibl fod athrofa y prophwydi yma hefyd. Yr ydoedd yn llawn daith deuddydd ar draed o Jerusalem. Nifer yr offeiriaid a laddwyd yma yn ol Josephus, yw 385, a dim ond 85, yn ein copiau Hebreaidd; etto y maent yn 305 yn y Septuagint. Yr wyf yn dewis rhifedi Josephus. Yr Hebraeg, mae 'n debygol, a adawodd y cannoedd heibio, a'r llall y degau. Y ddinas yma Nob a ymddengys ei bod yn bennaf, neu ysgatfydd yn unig breswylfa teulu Ithamar; pa un yma a ddarfu am danynt, yn ol bygythiadau dychrynllyd blaenorol Duw i Eli. 1 Sam. ii. 27—36. iii. 11—18.

‡ 1 Sam. xxii. 20.

§ Y mae gennym yma hynod adfyfyriad Josephus, ymherthynas i gyffredin annuwioldeb gwŷr o swyddau uchel, a'r perygl y maent ynddo, o ymwrthod a'u parch i gyfiawnder a dynoliaeth; i ddwyfol ragluniaeth, ac ofn Duw; yr hwn oedd neu a gymmerasant arnynt fod ganddynt, pan oeddynt mewn is sefyllfa. Ni all yn rhy fynych gael sylwi arno gan frenhinoedd, a gwŷr o raddau uchel, na chan y sawl a ddisgwyliant feddiannu y fath sefyllfaoedd dyrchafedig ym mysg dynolryw. Gwelwch y cyffelyb adolygiadau o eiddo Josephus, VII. 1. yn ei ddiwedd, a'r VIII. 10. yn y dechreuad, hefyd XIII. 7. ynghylch y canol. Y maent i'r un defnydd a rhan o weddi Agur: Un peth yr ydwyf yn ei ofyn gennyt, na ommedd hyn i mi cyn fy marw; na ddyro i mi gyfoeth, rhag i mi ymlenwi a'th wadu di, a dywedyd pwy yw yr Arglwydd? Diar. xxx. 7, 8, 9.

y rhai hynny yn wir i anrhydedd, a gymmerasant boen lawer drostynt, ac ar ol eu hanrhydeddu yn eu cynfigennu, ac wedi eu rhoddi mewn dyrchafiad, y maent nid yn unig yn eu hymddifadu o'r hyn a feddiannent, ond ar y cyfrif unig hwnnw o'u bywydau hefyd: a hynny drwy gamgyhuddiad, a'r fath, o herwydd gormodedd eu naturiaeth, ydynt anghredadwy. Y maent hefyd yn cospi dynion, nid am y fath weithredoedd ag sydd yn haeddu eu condemnio, ond oddiwrth enllib a chyhuddiadau heb iawn holiad: a hyn a gyrraedd nid yn unig at y rhai a haeddant eu cospi, ond at gynnifer ag a allont ddwyn eu bywydau. Yr adfyfyriad yma a gadarnheir yn amlwg oddiwrth siampl Saul, mab Cish, yr hwn oedd y brenin cyntaf a deyrnasodd arnom yn ol ein llywodraeth bendefigaidd dan farnwyr: ac mai drwy ei lofruddiaeth o dri chant o offeiriaid a phrophwydi, ar gyfrif ei ddrwg-dybiad ynghylch Ahimelech, a thrwy chwanegol ddrygioni o ddadymchwelyd eu dinas; a hynny fel pe buasai yn ymdrechu, mewn rhyw ystyr, i ymddifadu y tabernacl o offeiriaid a phrophwydi; yr hwn ymdrech a ddangosodd wrth ladd cynnifer o honynt, ac heb adael i sefyll y ddinas a breswylient, rhag cyfodi eraill yno ar eu hol hwynt.

Ond Abiathar, mab Ahimelech, yr hwn yn unig a achubwyd o deulu 'r offeiriaid a laddwyd gan Saul, a ffodd at Ddafydd, ac a hyspysodd iddo am y galanastra a wnaethid ym mhlith ei deulu, ac am farwolaeth ei dad. Dafydd a ddywedoedd nad ydoedd heb feddyliau am yr hyn a ganlynai yn eu mysg, wedi iddo ganfod Doeg yno: canys yr ydoedd yn dychymmygu y camgyhuddid yr archoffeiriad ganddo wrth y brenin; ac efe a feiodd arno ei hun am fod megis yn achos o'r gyflafan hon. Ond efe a ddymunodd iddo aros yno a thrigo gyd ag ef,* mewn lle ag y gallai ymguddio yn well nag un man arall.

## PENNOD XIII.

*Am dynerwch Dafydd yn arbed yn olynol fywyd Saul, pan oedd cyfleusderau yn ymgynnyg iddo i'w ddifetha; ac am farwolaeth Samuel a Nabal.*

YNGHYLCH yr amser hwn y clybu Dafydd fod y Philistiaid wedi gwneuthur ymgyrch i wlad Ceilah,† a'i hyspeilio hi. Felly efe a gynnygiodd ei hun i ymladd i'w herbyn, os byddai i Dduw, wedi ymgynghori â'r prophwyd, addaw iddo fuddugoliaeth. Ac wedi i'r prophwyd ddywedyd ddarfod i Dduw roddi 'r arwydd o fuddugoliaeth, efe a wnaeth ymosodiad disymmwth ar y Philistiaid, gyd â'i gymdeithion; ac efe a dywalltodd lawer o waed, gan ddwyn yr ysglyfaeth oddi arnynt, ac aros gyd â thrigolion Ceilah, hyd oni chasglasant i mewn yr ydau, a ffrwythau eraill y ddaear. Pa fodd bynnag fe fynegwyd i Saul fod Dafydd gyd â gwŷr Ceilah: canys son am yr hyn a wnaethai, a'r mawr lwyddiant a fu gyd ag ef yn y rhyfel, nid arhosodd yn nherfynau 'r wlad y gwnaethpwyd hynny, ond a ymledodd o amgylch, ac a ddaeth i glywedigaeth eraill; a sôn am y weithred ei hun, a'r awdwr o honi, a ddygwyd i glustiau 'r brenin. Yna y bu dda gan Saul glywed fod Dafydd yn Ceilah; ac efe a ddywedodd, "Duw a'i rhoddodd yn awr yn fy llaw i, gan iddo ei orchymmyn i ddinas ag sydd a muriau, pyrth, a barrau iddi." Felly efe orchymmynodd i'r holl bobl ymosod ar Ceilah yn ddioed; ac wedi iddynt ei gwarchae a'i chymmeryd, bod iddynt ladd Dafydd. Ond wedi gwybod o Ddafydd am hyn, a rhoddi ar ddeall iddo gan Dduw, os arhosai yno y rhoddid ef i fynu gan wŷr Ceilah i Saul, efe a gymmerodd gyd ag ef ei bedwar can' gwr, ac a aeth ymaith i ddiffeithwch, yr hwn ydoedd gyferbyn a dinas a elwid Engadi. Felly pan glybu y brenin ei fod wedi ffoi ymaith oddiwrth wŷr Ceilah, efe a adawodd heibio wneuthur ei ymgyrch i'w erbyn.‡

Yna Dafydd a symmudodd ymaith, ac a ddaeth i fan a elwid y Lle Newydd, § yn perthynu i

* 1 Sam. xxii. 23. † 1 Sam. xxiii. 1,&c. ‡ 1 Sam. xxiii. 13.

§ Yr enw Lle Newydd, yma, megis y mae yn y Septuagint a Josephus, 1 Sam. xxii. 15. a iawn fernir gan Dr. Hudson ddarfod iddo darddu oddiwrth wahanol ddarlleniad y gair Hebraeg Bahadesa, yn y Lle Newydd; yn lle yr un yn ein Hebraeg bresennol, Bahoresa, yn y coed. Pa un oedd y darlleniad dechreuol, ni ellir yn bresennol yn hawdd ei benderfynu. Yn unig dau o gopiau goreu a ellir eu dewis yn gymmwys o flaen un copi, yr hwn ni chyfrifir mor dda.

Ziph. Ym mha le y daeth Jonathan mab Saul atto, gan ei gyfarch, a'i gynghori i fod yn gyssurus, ac i obeithio yn dda ymherthynas i'w gyflwr mewn amser i ddyfod, a pheidio digalonni dan ei bresennol flinderau; oblegid y byddai efe yn frenin, a holl luoedd yr Hebreaid dan ei awdurdod ef, ond a ddywedodd wrtho fod y fath ddedwyddwch yn arferol o ddyfod drwy boen a llafur mawr. Hwy hefyd a adnewyddasant eu llwon, y byddai iddynt hwy dros eu holl fywyd barhau mewn ewyllys da a ffyddlondeb i'w gilydd; ac fe alwodd Dafydd Dduw yn dyst, i ba fath felldith y darostyngai ei hun, os troseddai efe ei gyfammod, ac os newidiai i wrthwyneb ymddygiad. Felly Jonathan a'i gadawodd yno, wedi peri i'w ofalon a'i ofnau leihau ychydig, ac a ddychwelodd adref. Yn awr, gwŷr Ziph, i foddloni Saul, a hyspysasant iddo fod Dafydd yn aros gyd â hwy; ac a sicrhasant os deuai efe attynt hwy, y traddodent ef iddo; oblegid os goresgynnai 'r brenin gyfyngle Ziph, ni allai Dafydd ddiangc at genedl arall. Felly y brenin a'u canmolodd hwynt, ac a addefodd fod ganddo reswm i ddiolch iddynt, o herwydd rhoi o honynt hyspysrwydd iddo am ei elyn: ac fe addawodd na fyddai amser hir cyn y gwobrwyai hwynt am eu caredigrwydd. Efe hefyd a anfonodd wŷr i chwilio am Dafydd, a myned drwy 'r anialwch lle 'r oedd, gan ymroddi i'w canlyn yn bersonol. Yn ganlynol hwy a aethant o flaen y brenin, i chwilio am Dafydd, gan ymdrechu, nid yn unig i ddangos eu hewyllus da i Saul drwy amlygu y lle yr oedd ei elyn, ond i brofi yr unrhyw iddo yn fwy amlwg, drwy ei draddodi i'w awdurdod ef. Ond methodd y dynion drygionus hyn gael eu hamcan, y rhai tra nad aethant dan ddim perygl o beidio dangos y fath awydd o wneud datguddiad o hyn i Saul; etto hwy a gyhuddasant ar gam, a addawsant draddodi iddo un ag oedd yn anwyl gan Dduw ac un a geisid yn anghyfiawn i'w roddi i farwolaeth; ac a allasai pe amgen aros yn guddiedig; a hyn o weniaith a disgwyliad o elw oddiwrth y brenin. Canys wedi i Dafydd ddeall am fwriadau dichellgar gwŷr Ziph, ac am ddyuesiad Saul, efe a adawodd gyfyngle y wlad honno, ac a ffodd i graig fawr yn anialwch Maon.

Ar hyn Saul a frysiodd i'w erlid yno; canys ag efe yn ei gychwynfa, hyspyswyd iddo fod Dafydd wedi myned ymaith o anialwch Ziph; a Saul a symmudodd yr ochr arall i'r graig. Ond yr hanes drachefn fod y Philistiaid wedi torri i mewn i wlad yr Hebreaid, a alwodd am Saul ffordd arall, oddiwrth erlid ar ol Dafydd, pan oedd efe yn agos a'i ddala: canys efe a ddychwelodd yn ol drachefn i wrthsefyll y Philistiaid, y rhai oedd o naturiaeth yn elynion; gan ei ystyried yn fwy angenrhaid i ddial ei hun arnynt hwy, na pharhau i erlid gelyn unigol, ac i olygu y difrod a wnaethpwyd yn y tir.

Drwy 'r moddion hyn, Dafydd yn annisgwyliadwy a ddiangodd allan o'r perygl yr oedd ynddo, ac a ddaeth i gyfyngdir Engedi. Ac wedi i Saul yrru 'r Philistiaid allan o'r tir, fe ddaeth rhyw negeseuwyr atto gan ddywedyd, fod Dafydd yn trigo o fewn terfynau Engedi. Felly efe a gymmerodd gyd ag ef dair mil o wŷr etholedig wedi eu harfogi, ac a brysurasant tu ag atto ef. A phan nad oedd neppell oddiwrth y lleoedd hynny, efe a ganfu ogof ddofn a gwag yn ymyl y ffordd. Yr ydoedd â'i hagoriad yn fawr mewn hyd a lled; ac yno yr oedd Dafydd, gyd â'i bedwar can gwr, yn guddiedig. Saul wedi cymmeryd achlysur i fyned i mewn yma ei hun, a ganfuwyd gan un o gymdeithion Dafydd; a'r hwn a'i gwelodd, a ddywedodd, fod gan Ddafydd yn awr, drwy ragluniaeth Duw, gyfleusdra i ddial ei hun ar ei elyn, ac a'i cynghorodd i dorri ymaith ei ben, a thrwy hynny rhyddhau ei hun o'i gyflwr crwydredig, a'r cyfyngderau yr ydoedd ynddynt. Dafydd yn ganlynol a gododd i fynu, ac a dorrodd ymaith ddernyn o odre gwisg Saul: ond ar fyrr efe a edifarhaodd am yr hyn a wnaethai; ac a ddywedodd mai nid cyfiawn oedd lladd yr hwn ydoedd feistr iddo, ac un a farnodd Duw yn deilwng o lywodraeth y deyrnas. Canys er y dichon ei fod o duedd anghyfiawn, etto nid cyfreithlon ydoedd cyffwrdd a'i fywyd. Ond wedi i Saul fyned o'r ogof, Dafydd a lefodd allan yn uchel, ac a

ddymunodd i Saul wrando arno; ar hyn y brenin a drodd ei wyneb, a Dafydd, yn ol yr arferiad, a syrthiodd i lawr o'i hyd o flaen y brenin, ac a ddywedodd, "O frenin! ni ddylesit wrando ar ddynion drwg, nac ar rai a luniant enllibiau, na'u boddhau mor belled ag i gredu yr hyn a ddywedant, neu gynnwys meddyliau cul am y rhai ag ydynt dy gyfeillion goreu; ond i farnu am dueddrwydd pawb yn ol eu gweithrediadau. Canys y mae enllib yn twyllo dynion; ond eu gweithredoedd eu hunain ydynt brawf eglur o'u caredigrwydd. Geiriau, yn sicr, yn eu natur eu hunain a allant fod wir neu anwir; ond gweithredoedd a ddengys amcanion yn noeth i'r golygon. Wrth y rhai hyn, gan hynny, y byddai dda it' fy nghredu i, mewn perthynas i'r parch sydd gennyf i ti dy hun ac i'th deulu, ac nid i gredu y rhai a luniant gyhuddiadau i'm herbyn am bethau na ddaethant erioed i'm meddyliau, ac nid yw bossibl iddynt gael eu gweithredu; ac i hyn ymhellach drwy erlid ar fy ol am fy mywyd, heb ofalu pa un a fyddo ai dydd neu nos, ond pa fodd i'm mwrddro i, yr hyn beth yr wyf yn tybied dy fod yn ei geisio yn anghyfiawn. Canys pa fodd y mae ddarfod i ti gofleidio y gau dyb hwn, fel pe byddai gennyf ddymuniad i'th ladd di? neu pa fodd y galli ddiangc rhag y bai echryslon o droseddu yn erbyn Duw, pan ewyllysi, pe gellyt, fy lladd, a chyfrif yn elyn, ddyn ag oedd yn ei allu heddyw i ddial ei hun, a'th gospi di, ond ni fynnai ei wneuthur, a defnyddio felly y cyfleusdra hwn; yr hyn pe buasai wedi ei roddi i ti ni adawsit iddo fyned heibio. Canys pan wyf wedi torri ymaith gwrr dy wisg, mi allaswn wneuthur yr un peth â'th ben." Felly efe a ddangosodd iddo y ddernyn o'i wisg, a thrwy hynny a wnaeth iddo gydsynio â'r hyn a ddywedai oedd wir: ac a chwanegodd, "Yn sicr mi a ymgedwais rhag ymddial yn gyfiawn arnat ti; etto nid oes cywilydd arnat ti fy erlid i â chasineb anghyfiawn. Bydded i Dduw wneuthur cyfiawnder, a barnu am y naill a'r llall o'n tueddiadau." Saul a ryfeddodd wrth yr arbediad rhyfedd a gawsai; ac wedi ei gyffrôi yn fawr gan dynerwch a chymmedroldeb y gwr ieuangc, efe a ruddfanodd; a phan wnaeth Dafydd yr un modd, y brenin a attebodd, "Gennyf fi y mae yr achos cyfiawnaf i ruddfan; canys tydi a fuost wneuthurwr daioni i mi; fel y bum innau yn wneuthurwr o ddrygau i tithau. A thydi a ddangosaist y dydd hwn dy fod yn meddu § cyfiawnder yr hynafiaid, y rhai a ddywedent y dylai dynion achub eu gelynion, er iddynt eu gorddiwes mewn diffeithwch. Yr wyf yn awr yn cael fy mherswadio fod Duw yn cadw y deyrnas i ti, ac y meddianni di y llywodraeth ar yr holl Hebreaid. Dyro i mi, gan hynny, sicrwydd trwy lw na ddadwreiddi allan fy nheulu; na thrwy goffadwriaeth o'r drwg a wnaethum i ti, ddifetha fy hiliogaeth, ond cadw ac amddiffyn fy nhŷ." Felly Dafydd a dyngodd yn ol yr hyn a ddymunodd, ac a ddanfonodd Saul adref i'w deyrnas ei hun. Ond efe, a'r rhai oedd gyd ag ef, a aethant i fynu i gyfyngdir Masteroth. ‖

Ynghylch yr amser hwn y bu farw¶ Samuel y prophwyd. Efe ydoedd wr a berchid gan yr Hebreaid i raddau tra rhagorol; canys y galar a wnaethpwyd gan y bobl am dano dros hir amser, ydoedd ddangosiad o'i rinwedd, a'r serch oedd ganddynt tu ag atto; ynghyd â'r difrifwch, a'r gofal arbennig a gymmerwyd ynghylch ei gladdedigaeth. Hwy a'i claddasant yn ei ddinas ei hun* Ramah, ac a wylasant am dano ddyddiau lawer; nid gan ei olygu yn alar fel ar farwolaeth dyn arall, ond fel yr hyn ag ydoedd yn perthynu iddynt oll. Yr oedd efe yn wr cyfiawn, a thyner yn ei natur, ac ar y cyfrif hwnnw yn dra anwyl gan Dduw. Yn awr, efe a lywodraethodd ac a flaenorodd ar y bobl ei hun, yn ol marwolaeth Eli, yr archoffeiriad, † ddeuddeg mlynedd; a ‡ deunaw mlynedd ynghyd â Saul y brenin; ac fel hyn y diweddasom hanes Samuel.

Yr oedd gwr o Ziphiad, o ddinas Mahon, yr hwn oedd gyfoethog, a chanddo rifedi mawr o anifeiliaid; canys yr oedd ganddo braidd yn

* O ba le y tarddodd y farn hynafol hon, ni fedraf wybod.
† 1 Sam. xxiv. 22. ‡ Bl. 1098. c. c. § 1 Sam. xxv. 1.

‖ O'r Fl. 1128 hyd 1116. ¶ O'r Fl. 1116 hyd 1098.

eu porthi o dair mil o ddefaid, ac arall o eifr un mil. Yn awr, Dafydd a orchymmynasai i'w gyd-ymdeithyddion i adael y minteioedd hyn heb wneuthur niweid iddynt, nac o chwant cybyddlyd, neu o herwydd eisiau, nac am eu bod mewn anialwch, ac felly heb yn hawdd eu datguddio: ond i werthfawrogi rhyddid oddiwrth anghyfiawnder uwchlaw pob cynnyrfiadau eraill; ac i edrych ar gyffyrddiad â pheth a berthyn i wr arall yn fai echryslon, ac yn wrthwyneb i ewyllys Duw. Y cyfryw oedd yr hyfforddiadau a roddwyd; gan dybied fod y ffafr a ddangosodd i'r gwr hwn yn cael ei ganiattau i un ag oedd yn haeddu cymmeryd y fath ofal ymherthynas i'w bethau. Y gwr hwn ydoedd Nabal: dyn sarrug, ac o fuchedd dra annuwiol; yn g'iaidd ac yn anfwyn yn null ei ymddygiad; ond er hynny a gawsai iddo yn wraig ddynes ag iddi enw da, yn ddoeth, a phrydweddol. Dafydd, gan hynny, a ddanfonodd at y Nabal hwn ddeg o'i gymdeithion, ar amser ag yr oedd efe yn cneifio ei ddefaid; a thrwyddynt hwy a'i cyfarchodd ef, gan ddymuno iddo y gorchwyl ag ydoedd yn awr wrtho dros flynyddau i ddyfod: ond a ddeisyfodd arno wneuthur anrheg iddo ef o'r hyn a allai yn gyfleus ei hepcor; gan y gallai ddeall drwy ei fugeiliaid na wnaethai efe niweid iddo; ond a fu, gyd â'i wŷr, yn wyliedyddion iddo tra y buont yn yr anialwch; ac a sicrhaodd iddo na chai achos i edifarhau am ddim a roddai i Ddafydd. Wedi i'r cennadon adrodd eu neges wrth Nabal, efe a'u dwrdiodd mewn modd annhrugarog ac anfoesol: canys efe a ofynodd iddynt pwy oedd Dafydd? a phan glybu mai mab Jesse ydoedd, "Yn awr yw 'r amser," eb efe, "ag y mae crwydraid yn tyfu yn ddigywilydd ac yn drahaus, gan ddangos eu hunain yn wŷr hynod, a gadael eu meistriaid." Pan ddywedasant hyn i Ddafydd yr oedd efe yn dra digllon; ac a orchymmynodd i bedwar can' gwr ei ganlyn ef, gan adael y ddau cant eraill i gymmeryd gofal y dodrefn, (canys yr oedd gyd ag ef yn awr * chwe' chant,) ac a aeth yn erbyn Nabal: efe hefyd a dyngodd y llwyr ddifethai holl dŷ a meddiannau Nabal; a'i fod yn gofidio, nid yn unig o herwydd ei anniolchgarwch, heb wneuthur dim dychweliad yn ol am y gymmwynas a wnaethant iddo, ond o herwydd iddo eu gwaradwyddo, ac arfer y fath araith ddrwg wrthynt, pan na chawsai ddim achos o anfoddlonrwydd. Ar hyn rhyw un o geidwaid praidd Nabal a ddywedodd wrth ei feistres, mai pan ddanfonodd Dafydd am gymmwynas at ei gwr, na chawsai attebiad gweddaidd, ond yn y gwrthwyneb, triniaeth arw a thaeogaidd; pan, yn y cyfamser, yr oedd Dafydd yn cymmeryd gofal tra hynod i gadw ei braidd rhag niweid; a'r hyn a wnaethpwyd a brofa yn adwythig a pheryglus i'w feistr. Wedi i'r gwasanaethddyn ddywedyd hyn, Abigail, (canys hynny oedd enw y wraig,) a gyfrwyodd ei hasynod, ac a'u llwythodd â phob math o anrhegion; ac heb ddywedyd i'w gwr am ddim ag ydoedd yn ei wneuthur, canys nid oedd efe yn synhwyrol, oblegid ei feddwdod; hi a aeth ymaith at Ddafydd. Yna hi a gyfarfuwyd gan Ddafydd ar ystlys mynydd, canys yr oedd efe yn dyfod yn erbyn Nabal, â'r pedwar can' gwr. Pan ganfu y wraig ef, hi ddisgynodd oddiar ei hasyn, ac a syrthiodd ar ei hwyneb, ac a ymgrymmodd hyd lawr; gan erfyn arno beidio dal yn ei gof eiriau Nabal, gan y gwyddai ei fod yn tebygu i'w enw: Nabal yn yr Hebraeg sydd yn arwyddo ynfydrwydd. Felly hi a wnaeth ymadrodd amddiffynol, ac a ddywedodd na welsai hi y negeseuwyr a anfonasai: "Maddeu gan hynny i mi," eb hi, "a diolch i Dduw yr hwn a'th ragflaenodd rhag tywallt gwaed dynol. Canys cyhyd ag y cedwi dy hun yn ddieuog,†

* Rhifedi y dynion a ddaethai yn gyntaf at Ddafydd oeddynt yn amlwg yn ol Josephus, a'n copiau cyffredin eraill, ond 400. Pan ydoedd yn Ceilah nid oeddynt fyth ond 400 yn ol Josephus a'r Septuagint; ond 600 yn ein copiau Hebreaidd: 1 Sam. xxiii. 13. Gwel xxx. 9, 10. Yn awr, y 600 a grybwyllir yno, a arwyddir yma yn Josephus eu bod yn gynnifer, yn unig drwy chwanegiad o 200 yn ol hynny, yr hyn yr wyf yn tybied yw iawn eglurhad yr amrywiaeth ymddangosiadol hwn.

† Yma y gwelwn y modd y mae Josephus, ie fel y mae Abigail ei hun yn deall, ynghylch ymddial o honom ar eraill, eithr pentyrru marwor tanllyd ar bennau y rhai a'n niweidio, Diar. xxv. 21, 22. Rhuf. xii. 20. nid fel yr ydym yn gwneuthur yn awr i'w toddi i fwyneidd-dra; ond eu gadael hwynt i farn Duw, i'r hwn y mae dial yn perthyn, Deut. xxxii. 35. Sal. xciv. 1. Heb. x. 30. a'r hwn a ddial ar yr annuwiol. A chan fod holl farnau Duw yn gyfiawn, ac oll yn weddus eu cyflawni; a'u bod yn y diwedd yn llesol i'r personau a gospir, yr wyf yn gogwyddo i feddwl mai dyna ystyr yr ymadrodd hwn, o bentyrru marwor tanllyd ar eu pennau hwynt. Felly hefyd, fe ymddengys i mi, yr ystyrir ef yn y Gosod. Apost. I. 2.



DAVID'S INTERVIEW WITH ABIGAIL.

*Published by J. & J. Cundee, Albion Press London - 1812.*

efe a'th ddïal di ar ddynion drwg. Canys y trueni sydd yn disgwyl Nabal, a syrth ar bennau dy elynion. Bydd yn rasol wrthyf fi, a golyga fi mor bell yn deilwng ag i wneuthur derbyniad o'r anrhegion hyn; ac ar gyfrif dy dosturi tu ag attaf fi, dychwel ymaith dy lid a'th ddigofaintsydd gennyt yn erbyn fy ngwr, a'i dŷ ef. Canys tynerwch a dynoliaeth ydynt yn gweddu i ti, yn enwedig gan i'th osodir yn frenin arnom." Yn ganlynol Dafydd a dderbyniodd ei hanrhegion, ac a ddywedodd, "O wraig! nid dim amgen na thrugaredd Duw a'th ddygodd i'n cyfarfod y dydd hwn, canys, mewn gwedd arall, ni welsit fyth ddydd yn rhagor: o herwydd im' fyned i'm llw * y dinystriwn dŷ Nabal y nos hon, heb adael yn fyw un o honoch a berthynai i ddyn mor ddrygionus ac mor anniolchgar i mi a'm cydymdeithion. Ond yn awr ti a'm rhagflaenaist i, ac yn brydlon a larieiddiaist fy nigter, gan dy fod dy hunan dan ofal rhaglunniaeth Duw. Ond am Nabal, er iddo ar dy gyfrif di yn awr ddiangc rhag cospedigaeth, ni all bob amser ochelyd cyfiawnder am ei gam-ymddygiad, yr hyn ar ryw achos arall a fydd ei ddinystr."

Wedi i Dafydd ddywedyd hyn efe a adawodd i'r wraig fyned ymaith. A phan ddaeth hi adref, a chael ei gwr yn gwledda, gyd â chwmpeini lluosog, ac wedi ei lenwi â gwin, nid ynganodd ddim wrtho am y peth a ddigwyddasai: ond y dydd nesaf pan oedd efe wedi sobri, hi a ddywedodd iddo 'r holl achosion, yr hyn a wnaeth i'w holl gorph ymddangos fel un marw, wrth ei geiriau hi, ac o herwydd y gofid a gyfododd ynddo oddiwrthynt. Felly ni bu Nabal fyw yn ol hyn ond deng niwrnod, ac yna y bu efe farw.† A phan glybu Dafydd am ei farwolaeth, efe a ddywedodd i Dduw ei ddïal yn gyfiawn ar y dyn hwn, a darfod i Nabal farw drwy ei anwiredd ei hun, a goddef o hono gospedigaeth ar ei gyfrif ef, tra 'r oedd efe wedi cadw ei ddwylaw ei hun yn lân. Ar ba amser efe a ddeallodd fod y drygionus yn cael ei erlid gan Dduw; nad yw neb yn ddi sulw ganddo ef; ond y mae yn cyfrannu i'r rhai da yr hyn sydd gymmwysiadol iddynt, ac yn cospi yn haeddiaunol y rhai drygionus. Felly efe a anfonodd at wraig Nabal, gan ei gwahodd i ddyfod i fyw gyd ag ef, ac i fod yn wraig iddo: i'r hyn yr attebodd wrth y rhai a ddanfonasid, nad oedd hi yn deilwng i gyffwrdd â'i draed. Pa fodd bynnag, hi a ddaeth atto, ynghyd a'i holl wasanaeth-ddynion, ac a aeth yn wraig iddo; gan gael yr anrhydedd hwnnw o herwydd ei hymddygiad doeth a chyfiawn; ac hefyd mewn rhan o herwydd ei thegwch. Yna, yr ydoedd i Ddafydd wraig o'r blaen, yr hon a briodasai o ddinas Abesar. Canys am Michal, merch Saul, yr hon a fuasai wraig i Ddafydd, yr oedd ei thad wedi ei rhoddi yn briod i Phalti, mab Laish, yr hwn ydoedd o ddinas Galim. ‡

Ar ol hyn, rhai o'r Ziphiaid a fynegasant i Saul ddyfod o Ddafydd drachefn i'w gwlad hwynt; ac os rhoddai ei gynnorthwy iddynt y dalient hwy ef. Felly efe a ddaeth attynt â thair mil o wŷr arfog; ac ar agosâd y nos efe a wersyllodd mewn lle a elwid Hachilah. Ond pan glybu Dafydd fod Saul yn dyfod yn ei erbyn, efe a ddanfonodd yspïwyr, gan beri iddynt adael iddo wybod pa barthau o'r wlad y daethai efe eisoes iddynt. Ac wedi dywedyd iddo ddyfod i Hachilah, efe a guddiodd oddiwrth ei gymdeithion ei fynediad ymaith, ac a ddaeth i wersyll Saul, wedi cymmeryd gyd ag ef Abishai, mab Zuriah ei chwaer, ac Ahimelech yr Hitiad. Yn awr, Saul ydoedd yn ei gwsg, a'i wŷr arfog, gyd ag Abner eu blaenor, yn gorwedd o'i amgylch. Ar hyn Dafydd a aeth i mewn i babell y brenin; ond ni laddodd efe Saul, er y gwyddai pa le yr ydoedd yn gorwedd, wrth y waywffon a frathid i'r llawr gerllaw iddo; ac ni roddodd gennad i Abishai wneuthur hynny, er y mynnai efe ei ladd, ac yr oedd yn tueddu yn gryf i hynny. Canys efe a ddywedodd mai gweithred echryslon o feius

* Gallwn sylwi yma, pa mor gyssegredig bynnag y byddai llwon yn cael eu cyfrif gan bobl Dduw yn yr hen amseroedd, megis y dangosais yn gyflawn yn fy Llywodraethiad Ysgrythyrol, t. d. 54—65., nid oeddynt yn eu golygu yn rhwymedig pan olygid y weithred yn anghyfreithlon. Canys felly yr ydym yn gweled ei fod yn achos Dafydd; yr hwn, er tyngu o hono y difethai Nabal a'i deulu, etto y mae efe yma, ac yn 1 Sam. xxv. 32, 33, 34, yn bendithio Duw am ei luddias i gyflawni y llw hwn, a rhag tywallt gwaed megis y tyngasai wneuthur felly.

† 1 Sam. xxv. 38. ‡ 1 Sam. xxv. 44.

oedd lladd yr hwn a ordeiniasid gan Dduw yn frenin, er bod o hono yn ddyn drygionus; ac y byddai i'r hwn a roddodd iddo 'r awdurdod, mewn amser, osod cospedigaeth arno: felly efe a'i hattaliodd rhag gwneud yn ol ei ddymuniad. Ond fel yr ymddangosai fod yn ei allu ei ladd ef, pan ymgadwodd rhag hynny, efe a gymmerodd ymaith y waywffon, a'r piseraid o ddwfr oedd yn ei ymyl, heb eu gweled gan neb yn y gwersyll, y rhai oeddynt oll yn cysgu, ac a aethant yn ddiogel ymaith; wedi cyflawni pob peth ag oedd y cyfleusdra yn ei ganiattau ym mysg gwylwyr y brenin, i'r hyn y cymmellwyd ef gan ei wrolder. Felly pan aeth efe dros yr afon, ac esgyn o hono i ben mynydd, o ba le y gellid yn hawdd ei glywed, efe a alwodd â llef uchel ar filwyr Saul, ac Abner eu blaenor, ac a'u dihunodd o'u cwsg, gyd â'r holl bobl. Ar hyn llywodraethwr y fyddin a ofynodd pwy ydoedd yr hwn a'i galwai? i ba un yr attebodd Dafydd, "Myfi, mab Jesse ydyw, yr hwn yr wyt ti yn ei wneuthur yn grwydrad. Ond pa beth yw 'r achos? a ydwyt ti, sydd ddyn o dderchafiad mor uchel, ac o'r radd bennaf yn llŷs y brenin, yn cymmeryd mor lleied o ofal am berson dy feistr? ac a ydyw cwsg o fwy canlyniad gennyt na'i ddiogelwch ef? yr esgeulusdra yna sydd yn haeddu marwolaeth, a chosp sydd ddyledus i ti, yr hwn ni wybuost ychydig amser a aeth heibio, pan y daeth rhai o honom i'th wersyll; ïe mor belled ag at y brenin ei hun. Os edrychi am waywffon y brenin, a'i biser o ddwfr, ti a wybyddi pa fath berygl oedd agos i'ch goddiweddyd yn eich gwersyllfa eich hun, heb wybod o honoch chwi am dano." Yn awr, pan adnabu Saul lais Dafydd, a deall mai pan ydoedd efe o fewn cyrraedd ei allu, yn ei gwsg, a'i wylwyr heb ofalu am dano; etto iddo ef ei arbed pan allasai yn gyfiawn ei dorri ymaith; efe a ddywedodd, Ei fod dan ddyled o ddiolch iddo ef am ei gadwriaeth, ac a'i cynghorodd i fod yn gefnog, a pheidio ag ofni dioddef niweid ganddo ef yn chwaneg, a dychwelyd o hono i'w gartref ei hun: canys yr oedd efe yn awr wedi ei berswadio, nad oedd efe yn caru ei hun gymmaint ag y cerid ef ganddo; ei fod wedi ymlid ymaith yr hwn a allasai ei wylio, a rhoddi o hono iddo lawer o arwyddion o'i ewyllys da; ei fod wedi rhoi achos iddo i aros cyhyd mewn stâd o alltudiaeth, ac mewn ofn am ei einioes, yn ymddifad o'i gyfeillion a'i garennydd: pan yr oedd efe etto wedi ei achub yn fynych ganddo, ac a fynych dderbyniodd ei fywyd drachefn pan oedd efe mewn perygl o'i golli. Felly Dafydd a barodd iddynt ddanfon am y wyawffon a'r piser, a'u cymmeryd yn ol; gan chwanegu y byddai i Dduw farnu eu tueddiadau bob un, a'r gweithredoedd a darddant oddiwrth yr unrhyw: "Canys efe a ŵyr," eb efe, "mai pan oedd heddyw yn fy ngallu ddwyn dy fywyd, myfi a ymgedwais rhag ei wneuthur."*

Saul, wedi diangc fel hyn ddwywaith o ddwylaw Dafydd, a ddychwelodd i'w dŷ brenhinol, a'i ddinas ei hun. Ond yr oedd Dafydd yn ofni os trigai yno y goddiweddid ef drachefn gan Saul. Felly fe farnodd yn well fyned i dir y Philistiaid. Yn ganlynol, efe a ddaeth gyd a'r chwe' chan' gwr oedd yn ei ganlyn at Achish, brenin Gath, yr hon oedd un o'u pum' dinas. Yn awr, y brenin a'i derbyniodd ef a'i wŷr, ac a roddodd iddynt le i breswylio ynddi. Yr ydoedd gyd ag ef hefyd ei ddwy wraig, Ahinoam ac Abigail, ac efe a arhosodd yn Gath. Ond pan glywodd Saul hyn, ni ofalodd ymhellach ddanfon atto ef, neu fyned ar ei ol, o herwydd ei fod ddwywaith, mewn ystyr, wedi ei ddal ganddo, tra 'r oedd efe wedi ymdrechu i'w ddal ef. Pa fodd bynnag ni chwennychodd Dafydd aros yn ninas Gath, ond a ddymunodd ar y brenin, gan ddarfod iddo gyd â'r fath ddynoldeb ei dderbyn, y rhyngai bodd iddo ganiattau ffafr ymhellach, drwy drefnu rhyw le iddo yn y wlad yn breswylfa, canys yr ydoedd yn cywilyddio byw yn y ddinas, rhag bod yn drwbl ac yn faich iddo. Felly Achish a roddodd faes-dref iddo, a elwid Siclag, pa un oedd hoff gan Dafydd a'i feibion wedi iddo fyned yn frenin, ac a'i cyfrifasant yn etifeddiaeth briodol iddynt. Ond ynghylch y matterion hynny nyni a gawn hyspysu i'r darllenydd † ymhellach

* 1 Sam. xx. 23.

† Yr hanes pellach yma ni cheir, fel yr wyf yn tybied, yng ngwaith presennol Josephus.

mewn lle arall. Yr amser y bu Dafydd yn Siclag, yn nhir y Philistiaid, ydoedd bedwar mis, ac ugain niwrnod.‡ Yn awr, efe a oddiweddodd y Gesuriaid a'r Amaleciaid, yn ddirgel mewn rhyfel, pa rai oedd gymmydogion i'r Philistiaid, ac a ddifrododd eu gwlad hwynt; ac a gymmerodd lawer yn ysglyfaeth o'u hanifeiliaid a'u camelod, ac yna a ddychwelodd adref. Ond Dafydd a ymgadwodd rhag y dynion, rhag ofn iddynt ei ddatguddio i frenin Achish. Etto efe a anfonodd ran o'r ysglyfaeth iddo megis rhad rodd. Ac wedi i'r brenin ymholi pwy a oddiweddasant, pan y dygasant ysglyfaeth ymaith; attebwyd iddo mai y rhai oedd yn aros y tu deheuol i'r Iuddewon, ac yn preswylio yn y gwastadedd; trwy 'r hyn y perswadiodd Achish i gymmeradwyo yr hyn a wnaethai; canys yr ydoedd yn gobeithio ddarfod i Ddafydd ymladd yn erbyn ei genedl ei hun; ac y byddai yn awr yn was iddo ef dros ei holl fywyd, ac yr arhosai yn ei wlad ef. §

## PENNOD XIV.

*Am ymofyniad Saul â gwraig o ddewines, i gyfodi i fynu enaid Samuel; ac am ei farwolaeth ei hun a'i Feibion, ar ddadymchweliad yr Hebreaid mewn brwydr.*

YNGHYLCH yr un amser, y Philistiaid a ymroisant i wneud rhyfel â'r Israeliaid, ac a anfonasant at eu holl gyngreirwyr, am fyned gyd â hwynt i ryfel i Reggan, yn agos i Shunem, o ba le y gallent ymgasglu ynghyd, ac ar fyrr oddiweddyd yr Hebreaid. Yna y darfu i Achish brenin Gath ddymuno ar Dafydd eu cynnorthwyo, gyd â'i wŷr arfog, yn erbyn yr Hebreaid. Hyn a addawodd yn barodlawn, gan ddywedyd, fod yr amser yn awr wedi dyfod ym mha un y gallai wneud taledigaeth iddo am ei garedigrwydd a'i haelioni. Felly y brenin a addawodd ei wneuthur yn warcheidwad arno ei hun yn ol y rhyfel, gan fwriadu i'r frwydr â'r gelyn lwyddo yn ol eu meddwl; yr hon addewid o aurhydedd ac ymddiried a wnaeth yn bwrpasol i chwanegu ei sel dros ei wasanaeth.

Yn awr, Saul brenin yr Hebreaid a fwriasai allan o'r wlad, y daroganwyr a'r dewiniaid, a phob rhai a arferai y fath gelfyddydau, oddigerth y prophwydi. Ond pan glybu fod y Philistiaid eisoes wedi dyfod, a gwersyllu yn dra agos i ddinas Shunem, oedd a'i sefyllfa yn y gwastadedd, efe a brysurodd gyd â'i luoedd i'w gwrthwynebu hwynt. Ac wedi ei ddyfod at ryw fynydd a elwid Gilboa, efe a wersyllodd gyferbyn a'r gelyn. Ond pan welodd efe fyddin y gelynion, yr ydoedd yn dra thrallodedig, o herwydd ymddangos o honynt yn fwy lluosog a rhagorach na 'r eiddo ei hun; ac efe a ymofynnodd â Duw drwy y prophwydi ymherthynas i ganlyniad y frwydr, fel y gwybyddai ym mlaen llaw beth a fyddai 'r diwedd. A phan na attebwyd ef gan Dduw, yr ydoedd Saul fyth dan fwy o helbul ac ofn, a'i gefnogrwydd a syrthiodd: gan ragweled, fel yr oedd yn rhesymmol meddwl, y byddai i ddrwg ei oddiweddyd ef, gan na fyddai Duw yn bresennol i'w gynnorthwyo. Etto efe a barodd i'w weision ymofyn am ryw wraig ag oedd yn ddewines, ac yn galw i fynu eneidiau y meirw; fel wrth hynny y gallai wybod a lwyddai ei achosion yn ol ei ddymuniad ef. Canys y fath yma o ddewinesau, y rhai a godant eneidiau y meirw, a fedrant drwyddynt hwy ragddywedyd pethau i ddyfod, i'r sawl a geisio ganddynt. Ac un o'i weision a ddywedodd wrtho fod y cyfryw wraig i'w chael yn ninas Endor, ond nid ydoedd yn adnabyddus i neb yn y gwersyll. Ar hynny Saul a osododd heibio ei frenhinol wisg, ac a gymmerodd ddau o'i weision y rhai a wyddai eu bod yn fwyaf ffyddlon iddo, ac a ddaeth i Endor at y wraig; ac a ddeisyfodd arni arfer rhan daroganydd, a dwyn i fynu atto ef y cyfryw enaid ag a enwai. Ond y wraig a wrthwynebodd ei ddymuniad; ac a ddywedodd nad oedd yn diystyru 'r brenin, yr hwn a alltudiodd y fath yma o ddewiniaid; ac nad oedd yn gwneud yn iawn ei hun, gan na wnaethai hi iddo ddim niweid, i geisio gosod magl iddi, drwy ddyfod i wybod ei bod hi yn arfer celfyddyd wahardd-

‡ Blwyddyn a phedwar mis, yn yr Hebraeg a'r Septuagint. Gwel 1 Sam. xxvii. 7. xxix. 3. er nad yw y geiriau yn dra eglur hyd yn oed yn ddynt hwy. § 1 Sam. xxvii. 12.

edig, mewn trefn i'w dwyn dan gospedigaeth. Saul, pa fodd bynnag, a wnaeth lw na chai neb wybod yr hyn a wnaethai, ac na ddywedai i neb arall yr hyn a ragddangosai hi, ac na ddeuai arni ddim perygl. Mor gynted, gan hynny, ag y perswadiodd hi drwy 'r llw hwn i beidio ofni dim niweid, dywedodd wrthi am ddwyn i fynu atto ef enaid Samuel. Ac â hi heb adnabod pwy ydoedd Samuel, a'i galwodd allan o Hades. Pan yr ymddangosodd, a'r wraig yn canfod un ag oedd barchus, ac o ddwyfol agwedd, hi a drallodwyd: a chan ryfeddu wrth yr olwg, dywedodd, "Onid tydi yw y brenin Saul?" canys Samuel a ddywedasai iddi maiSaul ydoedd. Pan gyffesodd efe fod hynny yn wir, a gofyn iddi o ba le yr oedd ei therfysg yn cyfodi? dywedodd hithau ei bod yn gweled rhyw un yn cyfodi, yr hwn yn ei ddull a'i agwedd oedd debyg i dduw. A phan barodd iddi ddywedyd ym mha fath wisgiad yr oedd yn ymddangos, ac o ba ryw oedran ydoedd? dywedodd mai hen wr oedd, o ymddygiad gogoneddus, ac am dano fantell offeiriadol.* Felly y brenin a ddeallodd wrth yr arwyddion hyn mai Samuel ydoedd; ac efe a syrthiodd i lawr ar y ddaear, ac a'i cyfarchodd, ac a'i haddolodd ef. Ac wedi i enaid Samuel ofyn iddo, paham yr aflonyddodd ef, ac y parodd ei gyfodiad i fynu? yntau a alarodd yr angenrheidrwydd yr ydoedd dano, canys efe a ddywedodd fod ei elynion yn gwasgu yn drwm arno; ei fod mewn cyfyngder o eisiau gwybod pa beth i'w wneuthur yn ei amgylchiad presennol; bod Duw wedi ei adael, ac na allai gael rhagwybod am ddim o bethau a ddeuai, drwy 'r prophwydi, neu drwy freuddwydion. Ac mai hyn oedd y rhesymmau o herwydd pa rai y galwasai am dano ef. Ond Samuel† yn gweled diwedd bywyd Saul wedi dyfod, a ddywedodd, "Ofer yw i ti ddymuno dysgu gennyf fi ddim ymhellach, wedi i Dduw dy adael di: pa fodd bynnag, clyw yr hyn a ddywedaf:—Dafydd sydd i fod yn frenin, ac i ddiweddu y rhyfel hwn yn llwyddiannus; a thithau wyt i golli dy frenhiniaeth a'th fywyd; o herwydd na ufuddheaist i Dduw yn y rhyfel â'r Amaleciaid, ac na chedwaist ei orchymmynion, y rhai a ragddywedais i ti pan oeddwn yn fyw. Gwybydd gan hynny y darostyngir y bobl dan eu gelynion, ac y bydd i ti, gyd â dy feibion, syrthio y foru yn y frwydr; ac yna ti a fyddi gyd â ‡ mi yn Hades.

Pan glybu Saul hyn, ni allai lefaru gan ei ddychryn, ond a syrthiodd ar y llawr. Pa un a oedd hyn yn cyfodi oddiwrth ei dristwch am y peth a ddywedasai Samuel, neu o herwydd ei fod yn wag, anhawdd yw dywedyd, am na chymmerasai ddim lluniaeth y dydd a'r nos ragflaenol. Efe a gwympodd i'r llawr yn ddiattreg. Ac wedi iddo gyd ag anhawsdra adferyd ei hun, y wraig a'i cymmellodd i gymmeryd lluniaeth; gan ddeisyfu ganddo hyn o ffafr, ar gyfrif ei gofal yn y weithred beryglus o ddaroganu, yr hyn nid oedd gyfreithlon iddi ei wneuthur, oblegid yr ofn yr oedd dano drwy orchymmyn y brenin, pan nad adnabu hi pwy oedd efe; etto hi a aethai dan a thrwy ei achos presennol. Ar ba gyfrif yr oedd hi yn dymuno iddo ganiattâu fod i fwrdd a lluniaeth gael ei osod o'i flaen, fel y byddai iddo adferyd ei nerth, a dychwelyd yn ddiogel i'r gwersyll. Ac wedi iddo wrthsefyll ei chymmelliadau, a'u gwrthod yn gwbl, o herwydd ei ofidiau, hithau a ymdrechodd i'w berswadio drachefn, ac o'r diwedd a'i hynnillodd. Yn awr, yr oedd ganddi un llo, ag oedd yn hoff ganddi, yr hwn y cymmerai lawer o ofal yn ei gylch, ac a borthai ei hun; canys dynes ydoedd a ennillai ei bywioliaeth drwy lafur ei dwylaw; ac nid oedd anifail arall ganddi ond y llo hwnnw. Hwn a laddodd, ac a arlwyodd, gan ei osod o flaen y brenin a'i weision. Felly Saul a ddychwel-

---

* 1 Sam. xxviii. 14.

† Yr hanes yma am ymgynghoriad Saul, nid â swynwraig, fel yr ydym ni yn cymmeryd y gair Hebraeg yma, ond â dewines a arferai ragddywedyd pethau drwy ymddiddan â'r meirw, fel y mae yr holl hanes yn dangos, ac y gellir yn hawdd ddeall; yn enwedig os ymgynghorwn ag ail-olygiadau Clement, I. 5. II. 15. yn gyflawn; ac yn fyrrach a nes at ddyddiau Samuel, Eccles. xlvi. 20. "Samuel a brophwydodd yn ol ei farwolaeth, ac a ddangosodd i'r brenin ei ddiwedd; ac a ddyrchafodd ei lais i fynu o'r ddaear mewn prophwydoliaeth, i ddileu anwireddau y bobl." Ac nid yw manylrwydd cyflawniad y rhagfynegiad hwn y dydd nesaf, yn rhoddi lle i ni feddwl am ddim twyll wedi ei wneuthur â Saul yn yr hanes bresennol. Canys am ddadleuon diweddar yn erbyn yr ystyr naturiol yma o'r fath hanesion hynafol a dilys, yr wyf yn eu hystyried yn ychydig iawn o werth a phwysfawrogrwydd.

‡ 1 Sam. xxviii. 19.

odd i'r gwersyll tra'r ydoedd etto yn nos.

Yn awr, nid yw ond cyfiawnder i *ganmol haelioni y wraig hon: o herwydd wedi i'r brenin ei gwahardd i wneuthur defnydd o'r gelfyddyd honno, oddiwrth ba un y gwellhaed ei hamgylchiadau; a phan na's gwelsai y brenin erioed o'r blaen; er hynny ni ddaliodd yn ei chof er ei han-fantais, ddarfod iddo gondemnio ei ffordd o fywioliaeth; ac ni's gommeddodd ef fel dieithrddyn, ac un nad oedd ganddi ddim adnabyddiaeth o hono, ond yr oedd ganddi dosturi tu ag atto, gan ei gyssuro, a'i gynghori i wneud yr hyn ag ydoedd yn dra gwrthwyneb iddo; ac aberthu iddo yr unig greadur oedd ganddi, fel gwraig gyffredin; a hynny gyd â thaerineb, a llawer o ddynoliaeth, pan na dderbyniodd ddim gwobrwyad am ei charedigrwydd; ac nid ymgeisiodd am un ffaffr mewn amser i ddyfod oddiwrtho ef; canys hi wyddai ei fod ef i farw: pan y mae dynion o naturiaeth yn awyddus i foddhau y sawl a gyfranno roddion iddynt, neu ydynt dra pharod i wasanaethu y rhai y caffont ryw fantais oddiwrthynt. Byddai dda, gan hynny, ddilyn siampl y wraig hon, ac i ddangos cymmwynasgarwch i bawb a fo mewn eisiau, ac i feddwl nad oes dim yn well, nac yn gweddu yn fwy, na chyffredin haelioni; neu a ynnillai Dduw yn gynt i fod yn ffafrol, a pharod i gyfrannu pethau da i ninnau. A chyn belled a hyn a wasanaethai i lefaru am y wraig hon. Ond mi gaf lefaru ymhellach ar achos arall; yr hyn a rydd i mi gyfleusdra i sylwi ar yr hyn sydd fanteisiol i ddinasoedd, pobl, a chenhedlaethau, ac yn gyttunol â phroffiad dynion da, a ddichon eu hannog yn ffordd rhinwedd, a dangos iddynt y modd i gyrhaeddyd enwogrwydd a chlod parhaol, ac o argraphu ar feddyliau brenhinoedd gwledydd, a llywodraethwyr dinasoedd, fawr duedd a diwydrwydd i wneuthur da; ac hefyd i'w hannog i fyned dan beryglon, a marw dros eu gwledydd, a'u hyfforddi pa fodd i ddefnyddio y trallodion mwyaf arswydus. Ac y mae gennyf achlysur teg yn cael ei gynnyg i mi i draethu am y cyfryw beth oddiwrth Saul, brenin yr Hebreaid. Canys er ei fod ef yn gwybod am yr hyn oedd i ddyfod arno, a'i fod ar fyrr amser i farw, yn ol rhagddywediad y prophwyd; ni chynnygiodd efe ochelyd rhag angau, na meithrin cariad i fywyd mor belled, ag i fradychu ei bobl ei hun i'r gelyn, neu ddwyn anair ar ei fawredd brenhinol. Ond gan ymosod ei hun, ynghyd â'i holl deulu i beryglon, efe a'i barnodd yn wroldeb i gyd-syrthio â hwynt, fel yr oedd yn ymladd dros ei ddeiliaid; a bod yn well i'w feibion farw y modd hwn, gan ddangos eu cefnogrwydd, na 'u gadael i'w sefyllfa amheus yn ol hynny; tra, yn lle teyrnasu, a bod heppil iddynt, yr oeddynt yn ennill iddynt glod ac enw diddarfod. Y fath un a ymddengys i mi ei fod yn ddyn cyfiawn, gwrolwych, a phwyllog; a phan gyrhaeddo neb i'r tueddiadau hyn, neu a'u meddianno rhagllaw, efe yw 'r dyn a ddylai gael gan bawb ei anrhydeddu â'r dystiolaeth o wr rhinweddol a ffyddlon. Canys am y rhai a ânt allan i ryfel â gobaith o lwyddiant, a dychweliad diogel, gan feddwl iddynt gyflawni rhyw weithred orchestol; yr wyf yn tybied nad yw y rhai hynny yn gwneuthur yn iawn ag sy 'n galw y cyfryw yn wŷr dewrwych, fel y mae cynnifer o historiawyr ac ysgrifenwyr eraill yn arferol o wneuthur; er fy mod yn addef y rhai hyn yn cyfiawn haeddu rhyw radd o ganmoliaeth. Ond y rhai hynny yn unig a ddylent gael eu galw yn hyfion a chefnog mewn anturiaethau mawrion, ac yn ddirmygwyr caledi, yw y rhai a debygant i Saul. Canys am y rhai na 's gwyddant am ganlyniad rhyfel mewn perthynas iddynt eu hunain, ac etto nad ŷnt yn digalonni ynddo, ond yn rhoddi eu hunain i fynu i ansicrwydd amser i ddyfod, ac a deflir y ffordd hyn a'r ffordd arall, nid yw hyn yn arwydd mor eglur o feddwl godidog, er digwydd i'r cyfryw wneuthur llawer gweithred orchestol. Ond pan na b'o meddyliau dynion yn disgwyl un tro daionus, ond yn gwybod ym mlaenllaw eu bod i farw,

* Y canmoliaethau mawr i'r wraig o Endor, a chefnogrwydd milwraidd Saul, pan oedd etto yn gwybod y byddai farw yn y frwydr, ydynt yn arwyddo rhyw ymadawiad anarferol yn Josephus oddiwrth ei ddull cyffredin o draddodi ei feddyliau. Maent yn ymddangos i mi megis wedi eu talfyrru oddiwrth ryw ymadroddion neu areithiau o'r eiddo ef, wedi eu cyfansoddi gynt mewn ffordd o araithyddiaeth, ag oedd yn aros yn ei ymyl, a'r rhai a dybiodd yn gymmwys eu dodi i mewn ar yr achos presennol.

ac y gorfydd iddynt fyned i angau yn y frwydr nesaf hefyd; ac ar ol hyn i beidio a brawychu a hurtio wrth y tro arswydus sydd o'u blaen, ond a ant yn union i'w gyfarfod, pan y maent yn ei weled yn dyfod; dyma 'r hyn ag wyf fi yn ei gyfrif mewn dyn yn wir gefnogrwydd. Yn ganlynol, hyn a wnaeth Saul; a thrwy hynny a amlygodd fod i bawb a ddisgwylient glod yn ol eu marw weithredu felly, fel yr ynnillont y cyffelyb ganmoliaeth. Hyn yn enwedig a berthyn i frenhinoedd; y rhai ni ddylent feddwl yn ddigon i beidio bod yn anghyfiawn yn eu sefyllfa oruchel, a llywodraethiad eu deiliaid; ond i fod yn fwy na chyffredin yn gymhedrol tu ag attynt. Mi allwn ddywedyd ychwaneg na hyn am Saul a'i wroldeb, gan fod y testun yn ddigon o ddefnydd; ond fel na ymddangoswyf yn rhy bell yn ei gymmeradwyaeth, mi ddychwelaf drachefn at yr hanesiad oddiar ba un yr ymadawais.

Yn awr, wedi i'r Philistiaid wersyllu, a chymmeryd cyfrif o'u byddinoedd, yn ol eu cenhedlaethau, teyrnasoedd, a llywodraethau, y brenin Achish a ddaeth yn ddiweddaf o'r cwbl, gyd â'i fyddin ei hunan. Yn ol pa un y canlynodd Dafydd gyd â'i chwe' chan' gwr. A phan welodd blaenoriaid y Philistiaid ef, hwy a ofynasant i'r brenin, o ba le y daethai'r Hebread hynny? ac wrth wahoddiad pwy? Efe a attebodd mai Dafydd ydoedd, yr hwn a ffoisai oddiwrth ei feistr Saul; a darfod iddo ef ei dderbyn pan ddaeth: a'i fod yn awr yn ewyllysgar i wneuthur taliad iddo am ei ffafr, a dial ei hun ar Saul; ac felly wedi dyfod yn un o'i gyngreirwyr. Blaenoriaid byddin y Philistiaid, pa fodd bynnag, a anfoddlonasant iddo ei gymmeryd ef yn un o'i gyngreirwyr, yr hwn ydoedd yn elyn, ac a'i cyngorasant i'w gadw ymaith, rhag iddo yn ddiarwybod wneuthur llawer iawn o ddrwg i'w luoedd drwy ei gymmeryd gyd â hwynt. Canys yr oedd yn peri iddo gael cyfleusdra i gymmodi ei hun â'i feistr drwy wneuthur niweid i'r fyddin. Hwynt-hwy ar hynny a ddymunasant arno, oddiwrth ragwelediad pwyllog, ei anfon ymaith, gyd â'i wŷr arfog, i'r lle a ganiattaodd iddo ei breswylio. Canys efe ydoedd y Dafydd hwnnw pa un a glodforasai y gwyryfon yn eu hymnau, megis yr un a laddasai ei ddeg miloedd o'r Philistiaid. Wedi i frenin Gath glywed hyn, efe a farnodd iddynt lefaru yn gall; felly efe a alwodd Dafydd, ac a ddywedodd wrtho, "Am danaf fy hun, gallaf dystiolaethu ddangos o honot lawer o ddiwydrwydd a ffyddlondeb ymherthynas i mi; ac ar y cyfrif hwnnw yr ydoedd ddarfod im' dy gymmeryd yn un o'm cyngreirwyr. Pa fodd bynnag, nid yw'r hyn a wnaethum yn boddhau llywodraethwyr byddinoedd y Philistiaid. Dos, gan hynny, mewn diwrnod o amser i'r lle a osodais i ti heb ddychymmygu dim niweid; ac yno gwylia dros fy ngwlad, rhag i rai o'n gelynion dorri i mewn iddi, yr hyn a fydd yn un rhan o'r cynnorthwy a ddisgwyliaf gennyt ti." Felly Dafydd a ddychwelodd i Siclag, fel y parwyd iddo gan frenin Gath. Ond fe ddigwyddodd tra'r oedd efe wedi myned i gynnorthwyo 'r Philistiaid, i'r Amaleciaid dorri i mewn, a chymmeryd Siclag cyn ei ddychwelyd, a'i llosgi hi: ac wedi cymmeryd llawer o ysglyfaeth arall o'r lle hwnnw, ac o fannau eraill o wlad y Philistiaid, hwy a aethant ymaith.

Yn awr, pan gafodd Dafydd Siclag wedi ei difrodi a'i hanghyfanneddu, a bod ei wragedd ei hun, a'i gymdeithion, ynghyd a'u plant, wedi eu cymmeryd yn gaethion, efe yn y fan a rwygodd ei ddillad; gan wylo a galaru, ynghyd â'i gyfeillion. Ac yn wir yr oedd wedi ei daflu i lawr mor bell a'r blinderau hyn, fel o'r diwedd yr oedd ei ddagrau yn methu. Efe hefyd ydoedd mewn perygl o'i labyddio gan ei gymdeithion; y rhai oeddynt mewn mawr drallod o herwydd caethiwo eu gwragedd a'u plant, canys hwy a osodasant arno ef y bai o'r hyn a ddigwyddodd. Ond wedi iddo adferyd ei hun o'i ofid, a dyrchafu ei feddwl at Dduw, efe a ddymunodd ar yr archoffeiriad Abiathar ddodi am dano y wisg offeiriadol, gan ymofyn â Duw, a phrophwydo iddo ef, pa un a fyddai i Dduw, os erlidiai ar ol yr Amaleciaid, roddi iddo eu goddiweddyd hwynt; ac achub eu gwragedd a'u plant, a dial ei hun ar ei elynion? ac wedi peri o'r offeiriad iddo erlid ar eu hol hwynt, efe a gychwynodd yn ddioed, gyd â phedwar can' gwr ar ol ei elynion. Ac wedi eu dyfod at afon a elwid Besor,

a chyfarfod ag Aiphtwr,* yr hwn oedd bron marw gan newyn ac eisiau; (canys efe a barhasai i grwydro o amgylch, heb ddim lluniaeth, dros dri diwrnod yn yr anialwch;) efe yn gyntaf a roddes fwyd iddo, ac yna a ofynnodd i bwy yr oedd efe yn perthyn, ac o ba le y daethai? Y dyn a attebodd mai Aiphtiad ydoedd o enedigaeth, ac a adawsid ar ol gan ei feistr, o herwydd ei fod mor glaf a gwan fel na allai ei ddilyn ef. Efe hefyd a hyspysodd iddo ei fod yn un o'r rhai hynny a losgasai ac a yspeiliasai, nid yn unig rannau eraill o Judea, ond Siclag hefyd. Felly Dafydd a'i defnyddiodd ef fel cyfarwyddwr i ddyfod o hyd i'r Amaleciaid; ac wedi eu goddiweddyd hwynt, fel yr oeddynt yn gorwedd yn wasgaredig ar hyd y ddaear; rhai ar giniaw, rhai mewn annhrefn ac wedi meddwi gan win; ac yn eu mwynhad o'u hyspail a'u hysglyfaeth, efe a syrthiodd ar eu gwarthaf yn ddisymmwth, ac a wnaeth laddfa fawr arnynt. Canys yr oeddynt yn noeth, ac heb ddisgwyliad am y fath beth; ond a roddasant eu hunain i yfed a gwledda: ac felly hwy yn hawdd a ddifethwyd oll. Yn awr, rhai o honynt a oddiweddwyd pan oeddynt yn gorwedd wrth y bwrdd, ac a drywanwyd yn yr agwedd hynny. Eraill a laddwyd fel yr oeddynt yn yfed at eu gilydd gyd â'u cwpanau; a rhai o honynt wedi i'w digonedd beri iddynt syrthio i gysgu. Ac am gynnifer ag a gafodd amser i wisgo eu harfogaeth, hwy a'u lladdasant â'r cleddyf gyd â'r un hawsdra a'r rhai ag oedd yn noethion. Ac am gymdeithion Dafydd, hwy a ddilynasant y lladdfa o awr gyntaf y diwrnod hyd yr hwyr-ddydd; felly nid oedd uwchlaw pedwar cant o'r Amaleciaid wedi eu gadael, a hwy yn unig a ddiangasant, trwy farchogaeth eu dromedariaid a'u camelod. Yn ganlynol, Dafydd a adferodd iddo ei hun, nid yn unig yr yspail a ddygasai'r gelyn ymaith, ond ei wragedd hefyd, a gwragedd ei gymdeithion. Ond pan ddaethant i'r lle y gadawsant ddau cant o wŷr, y rhai ni allent eu canlyn hwynt, ond a adawsid ar ol i gymmeryd gofal y dodrefn; ni welai y pedwar can' gwr yn gymmwys gyfrannu â hwynt-hwy o'r ysglyfaeth, gan na ddaethant ym mlaen gyd â hwynt, ond a gymmerent arnynt fod yn weiniaid, ac ni chanlynasant hwy yn yr erledigaeth ar ol y gelyn; ond a ddywedasant y dylent hwy fod yn foddlon ar yr adferiad o'u gwragedd. Eithr Dafydd a ddywedodd, fod y farn hon o'r eiddynt yn gyfeiliornus ac yn anghyfiawn; ac mai pan ganiattaodd Duw y fath ffafr iddynt, ddarfod iddynt ddïal ar eu gelynion, ac adferyd y cyfan a berthynai iddynt eu hunain, eu dyled yw gwneuthur rhaniad cydraddol o'r hyn oll a gawsent, o herwydd fod y lleill wedi aros gartref i wylied eu heiddo a'u teuluoedd. Ac o'r pryd hwnnw y safodd y gyfraith yma yn eu mysg hwynt, fod i'r rhai a wylient y dodrefn dderbyn rhan gydradd o'r ysglyfaeth â'r rhai a ymladdent yn y frwydr.† Yn awr, wedi i Ddafydd ddyfod i Siclag, efe a anfonodd anrhegion o'r ysglyfaeth i'r rhai oll a fuasent gyfeillion iddo, ac i'w gyfeillion yn llwyth Judah. Ac fel hyn y diweddodd y matterion perthynol i yspeiliad Siclag, a difethiad yr Amaleciaid.

Yn awr, ar ymgyssylltiad y Philistiaid mewn brwydr, ymladdfa flin a ddilynodd, a'r Philistiaid a fuont drechaf, ac a laddasant lïaws mawr o'r Hebreaid. Ond Saul brenin Israel, a'i feibion, a ymladdasant yn ddewrwych, a chyd â'r calondid mwyaf; gan wybod nad oedd eu henwogrwydd yn gynnwysedig mewn dim ond trwy farw yn anrhydeddus, ac ymosod eu hunain i'r perygl mwyaf oddiwrth y gelyn; canys nid oedd ganddynt ddim arall i obeithio am dano. Felly hwy a ddygasant arnynt holl rym y gelyn, nes eu hamgylchynu ganddynt; ond nid cyn iddynt hwy ladd llawer o'r Philistiaid. Yn awr, meibion Saul ydoedd Jonathan, Abinadab, a Malchishua. Ac wedi lladd y rhai hyn, lluoedd yr Hebreaid a ffoisant; ac yr oedd y cyfan mewn annhrefn, terfysg, a lladdfeydd, wedi i'r Philistiaid bwyso ymlaen arnynt hwy. Ond Saul ei hunan a ffodd, a chanddo filwyr grymmus o'i amgylch; ac ar waith y Philistiaid yn anfon ar eu hol y rhai a daflent biccellau ac a ollyngent saethau, efe a gollodd ei holl gwmpeini oddigerth ychydig. Ymherthynas iddo ei hun efe a ym-

* 1 Sam. xxx. 11.

† 1 Sam. xxx. 25.

laddodd gyd á gwrolder mawr; ac wedi iddo gael cynnifer o archollion ag a'i gwnaeth yn analluog i ddal i fynu, neu wrthsefyll dim ymhellach; yr oedd hefyd yn analluog i'w ladd ei hun; efe a barodd i'w gludydd-arfau dynnu allan ei gleddyf a'i redeg drwyddo, cyn i'r gelyn ei gymmeryd yn fyw. Ond ei gludydd-arfau ni feiddiai ladd ei feistr; gan hynny, efe a dynnodd ei gleddyf ei hun allan, a chan ymosod gogyfer a'i flaen, efe a fwriodd ei hun arno; a phan na allai ei redeg drwodd, na thrwy ymollwng yn ei erbyn wneud iddo fyned trwy ei gorph; efe a drodd o amgylch, ac a ofynodd i ddyn ieuangc oedd yn sefyll gerllaw pwy ydoedd? a phan ddeallodd mai Amaleciad oedd, efe a ddymunodd arno yrru y cleddyf drwyddo ef, o herwydd na allai ei wneuthur â'i ddwylaw ei hun, a thrwy hynny cael y fath farwolaeth ag oedd yn ddymuno. Hyn a wnaeth y dyn ieuangc yn ganlynol; ac efe a dynnodd y fraichled aur oedd am fraich Saul, a chymmerodd y goron frenhinol oddi am ei ben ef, ac a redodd â hwynt ymaith. Ac wedi i gludydd-arfau Saul ganfod ei fod wedi ei ladd, yntau a laddodd ei hun hefyd. Ac ni ddiangodd neb o wyliedyddion y brenin; ond hwy a syrthiasant oll ar fynydd Gilboa. Ond wedi i'r Hebreaid oedd yn trigo yn y dyffryn, y tu hwnt i'r Iorddonen, a'r rhai oedd a'u dinasoedd yn y gwastadedd, glywed fod Saul a'i feibion wedi syrthio, a bod y llu oedd o'u hamgylch wedi eu difetha, hwy a adawsant eu dinasoedd eu hunain, ac a ffoisant i'r rhai ag oedd â'r amddiffynfeydd goreu iddynt. A'r Philistiaid, wedi cael y dinasoedd hynny yn weigion, a ddaethant i fyw ynddynt.

Ar y dydd nesaf, pan ddaeth y Philistiaid i ddiosg eu gelynion a laddasid, hwy a gawsant gyrph Saul a'i feibion, y rhai a ddiosgasant, ac a dorrasant eu pennau ymaith. A hwy a ddanfonasant negeseuwyr o amgylch eu holl wlad, i'w gwneud yn hyspys fod eu gelynion wedi eu difetha. A hwy a gyssegrasant eu harfau yn nheml Astarte; ond a grogasant eu cyrph ar groesau wrth furiau dinas Bethshan, yr hon a elwir yn awr Scythopolis. Ond wedi i breswylwyr Jabes Gilead glywed eu bod wedi dadgymmalu cyrph meirw Saul a'i feibion, hwy a'i cyfrifasant yn beth mor arswydus i edrych heibio i'r weithred farbaraidd hon, a'u gadael heb eu claddu, fel y darfu i'r mwyaf dewr a chalonnog yn eu mysg, (ac yn wir yr oedd yn y ddinas honno wŷr tra grymmus a nerthol mewn corph a meddwl;) deithio ar hyd y nos, a dyfod i Bethshan, gan nesau at furiau 'r gelyn, a thynnu i lawr gyrph Saul a'i feibion, ac a'u dygasant ymaith i Jabes, pan nad oedd y gelyn yn ddigon grymmus a hŷ i'w lluddias hwynt, o herwydd eu mawr nerth a'u gwrolder. Felly trigolion Jabes a ŵylasant bawb yn gyffredinol, ac a gladdasant eu cyrph yn y lle hawddgaraf o'u gwlad, a elwid Aroura; a hwy a wnaethant alarnad cyhoeddus am danynt saith niwrnod, gyd â'u gwragedd a'u plant, gan guro eu dwyfronau, a llefain am y brenin a'i feibion, * heb brofi na bwyd na diod hyd yr hwyr.

Dyma 'r diwedd y daeth Saul iddo, yn ol rhagfynegiad Samuel y prophwyd, o herwydd anufuddhau o hono i orchymmyn Duw † ymherthynas i'r Amaleciaid, ac ar gyfrif ei greulonder yn difetha teulu Ahimelech yr archoffeiriad, gyd ag Ahimelech ei hun, a dinas yr archoffeiriaid hefyd. Yn awr, Saul wedi teyrnasu deunaw mlynedd, ‡ tra bu byw Samuel, a dwy flynedd ar ol ei farwolaeth ef, a ddiweddodd ei fywyd yn y modd hwn.

* Y dull yma o ddywediad yn Josephus, ynghylch ymprydio saith niwrnod heb fwyd na diod, sydd debyg i'r un hynny o eiddo St. Paul, Act. xxvii. 33. "Heddyw yw y pedwerydd dydd ar ddeg yr ydych chwi yn disgwyl ac yn aros ar eich cythlwng, heb gymmeryd dim:" ac fel y mae natur y peth a'r ammhosiblrwydd o ymprydio cyhyd, yn gofyn i ni ddeall Josephus, ac awdwr cysegredig yr hanes hon, 1 Sam xxxi. 13, o ba un y cymmerodd efe hi, yn unig am ymprydio hyd yr hwyr; felly y mae 'n rhaid i ni ddeall St. Paul; un ai mai hwnnw oedd y pedwerydd dydd ar ddeg na chymmerasant ddim hyd yr hwyr, neu ynteu mai hwn oedd y pedwerydd dydd ar ddeg o hin dymhestlog ym mor Adria, fel adn. 27, ac mai ar y pedwerydd dydd ar ddeg hwnnw yn unig y parhasant i ymprydio, heb gymmeryd dim hyd yr hwyr. Y crybwylliad hwn am ei hir ymarbediad, adn. 21, sydd yn fy nhueddu i gredu 'r amlygiad blaenorol am wirionedd; a bod yr amgylchiad y pryd hynny am bythefnos, yr hyn ydoedd yma am wythnos, eu bod yn cadw yr holl ddyddiau hynny yn gwbl yn ymprydio hyd yr hwyr, ac nid ddim ymhellach. Gwel Barn. xx. 26. xxi. 2. 1 Sam. xiv. 24 2 Sam. i. 12. Hynaf. VII. 7. † 1 Cron. x. 13. ‡ O'r Fl. 1114 hyd 1096 c. C.

# LLYFR VII.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddeugain Mlynedd.*

O FARWOLAETH SAUL HYD FARWOLAETH DAFYDD.

## PENNOD I.

*Am ymddygiad Dafydd wedi derbyn y newyddion am Farwolaeth Saul, ac am y Rhyfel Cartrefol a ddilynodd rhwng canlynwyr Dafydd ac Ishbosheth, ym mha un y lladdwyd Asahel ac Abner.*

Y FRWYDR hon a ddigwyddasai ar yr un dydd ag y daeth Dafydd yn ol i Siclag, wedi iddo orchfygu yr Amaleciaid. Yn awr, wedi ei fod eisoes ddeuddydd yn Siclag, daeth atto ef y dyn a laddasai Saul; efe a ddiangasai o'r frwydr a fuasai rhwng yr Israeliaid a'r Philistiaid, a'i ddillad wedi eu rhwygo, a lludw ar ei ben. Ac wedi ymgrymmu o hono i Ddafydd, efe a ofynodd iddo o ba le y daethai? Yntau a attebodd mai o frwydr yr Israeliaid: gan hyspysu iddo ddarfod i'r canlyniad o honi ddigwydd yn annedwydd; a bod amryw ddeg miloedd o'r Israeliaid wedi eu torri ymaith, a Saul, ynghŷd â'i feibion wedi eu lladd. Dywedodd hefyd ei fod yn abl i roddi hyspysrwydd cywir am hyn, am ei fod yn bresennol pan fuddugoliaethwyd ar yr Hebreaid; ac yr oedd gyd â'r brenin pan ddiangodd. Ac ni wadodd nad efe ei hun a laddasai y brenin, pan oedd yn barod i gael ei gymmeryd gan y gelyn, ac iddo ei hun ei annog ef i'r weithred honno: o herwydd, ac efe wedi syrthio ar ei gleddyf, ei archollion a'i gwanhasai gymmaint, a'i fod yn analluog i'w ladd ei hun. Efe hefyd a ddangosodd arwyddion o fod y brenin wedi ei ladd, y rhai oeddynt y breichledau aur a fuasai am freichiau 'r brenin, a'r goron yr hon a gymmerasai efe oddiwrth gorph marw Saul, ac a'u dygasai iddo ef. Felly, a Dafydd heb ganddo ddim lle i ammau ymhellach am wirionedd yr hyn a ddywedai, ond gan weled arwyddion amlwg o fod Saul wedi marw, efe a rwygodd ei wisg, ac a barhaodd yr holl ddydd hwnnw, gyd â'i gymdeithion, mewn galar ac wylofain. Y gofid yma a chwanegwyd drwy'r ystyriaethau am Jonathan, mab Saul, yr hwn a fuasai ei gyfaill ffyddlonaf, ac yn achos o'i waredigaeth. Efe hefyd a ddangosasai ynddo y fath rinwedd helaeth, a charedigrwydd mawr i Saul fel y cymmerodd nid yn unig ei farwolaeth at ei galon, er ei fod yn fynych mewn perygl am ei fywyd o'i herwydd ef, ond hefyd yn cospi yr hwn a'i lladdasai ef. Canys wedi i Ddafydd ddywedyd wrtho, ei ddyfod yn gyhuddwr iddo ei hun, fel yr unig ddyn a laddasai 'r brenin; a phan ddeallodd mai mab i Amaleciad ydoedd, efe a orchymmynodd ei ladd ef.* Efe hefyd a osododd yn ysgrifenedig rai galarnadau, a chanmoliaethau angladdawl am Saul a Jonathan; y rhai a arosasant hyd fy amser fy hun.

Wedi i Ddafydd ddangos yr anrhydedd yma i'r brenin; efe a adawodd ei alar o'r neilldu; ac a ymofynodd â Duw drwy 'r prophwyd, pa un o ddinasoedd llwyth Judah a ganiattâi iddo ef i breswylio ynddi? Duw a attebodd ei fod yn ordeinio iddo Hebron. Felly efe a adawodd Siclag, ac a ddaeth i Hebron; gan gymmeryd gyd ag ef ei ddwy wraig, a'i wŷr arfog. Ar ba amser yr holl bobl a berthynent i'r llwyth rhagddywededig a ddaethant atto, ac a'u gosodasant yn frenin arnynt.† Ond pan glybu Dafydd ddarfod i wŷr Jabes Gilead gladdu Saul a'i feibion, yn anrhydeddus, efe a anfonodd attynt, ac a'u canmolodd hwynt, ac a gymmerodd yr hyn a wnaethant yn garedig, gan addaw gwneuthur taledigaeth am eu gofal dros y rhai meirw; ac

* 2 Sam. i. 13, 15.

† 2 Sam. ii. 4.

ar yr un pryd a hyspysodd iddynt, fod llwyth Judah wedi ei ddewis ef i fod yn frenin arnynt.

Ond pan glybu Abner, fab Ner, yr hwn ydoedd bennaeth byddin Saul, ac yn wr hynaws a defnyddiol, fod y brenin a Jonathan, a'i ddau feibion eraill wedi syrthio yn y frwydr, efe a brysurodd i'r gwersyll; a chan gymmeryd gyd ag ef y mab oedd yn weddill i Saul, enw 'r hwn ydoedd Ishbosheth, efe a aeth drosodd i'r tir tu draw i'r Iorddonen, ac a'i hordeiniodd yn frenin ar yr holl liaws, oddieithr llwyth Judah;* ac a wnaeth ei drigfa frenhinol mewn lle a elwir yn ein hiaith ni, Mahanaim, ond yn ol iaith y Groegiaid, Y Gwersyllfaoedd. O ba le Abner a frysiodd gyd â chorph dewisol o filwyr, i ymladd â chynnifer o lwyth Judah ag oedd dueddol i hynny: canys yr ydoedd yn ddig wrth y llwyth hwn am gyhoeddi Dafydd yn frenin arnynt. Ond Joab, enw tad yr hwn oedd Suri, a'i fam Zeruiah, chwaer Dafydd, yr hwn oedd bennaeth i fyddin Dafydd, a'i cyfarfu yn ol cyfarwyddid Dafydd. Yr oedd gyd ag ef ei frodyr, Abishai ac Asahel, gyd â holl arfogion Dafydd.

Yn awr, pan gyfarfu ef ag Abner wrth ffynnon yn ninas Gibeon, efe a barottodd i ymladd. Ac wedi i Abner ddywedyd wrtho fod arno chwant gwybod pa un o honynt oedd â'r milwyr dewraf o'u hochr; cyd-gyttunasant fod i ddeuddeg milwr o bob ochr ymladd â'u gilydd. Felly y rhai a dynnwyd allan gan bob un o'r blaenoriaid i ymladd, a ddaethant ym mlaen rhwng y ddwy fyddin; a chan daflu y piccellau y naill yn erbyn y llall, hwy a dynnasant eu cleddyfau allan; a chan afaelu y naill ym mhen y llall, daliasant eu gilydd yn ddiysgog, a rhedasant eu cleddyfau i ystlysau eu gilydd, fel y cyd syrthiasant oll. Wedi syrthio y rhai hyn, yr holl fyddin a ddaethant i ymladdfa waedlyd, a gwŷr Abner a drechwyd; ac wedi eu trechu hwynt, ni roddodd Joab heibio eu herlid hwy; ond efe a wasgodd arnynt, ac a annogodd y milwyr i'w dilyn hwynt yn gyfagos, a pheidio blino yn eu lladd hwynt. Ei frodyr hefyd a'u dilynasant â chyflymdra mawr, yn enwedig Asahel ieuangc, yr hwn oedd yr enwoccaf o honynt. Yr oedd efe yn dra hynod am ei gyflymdra ar ei droed; canys yr ydoedd nid yn unig yn rhy gyflym i ddynion, ond dywedir iddo gael y blaen pan ydoedd yn cydredeg â march. Yr Asahel yma a redodd yn chwyrn ar ol Abner; ac ni throai yn yr hyn lleiaf o'r uniawn ffordd. Ar hyn Abner a droes yn ol, ac a geisiodd yn gyfrwysgall ochelyd ei ymosodiad. Weithiau efe a barai iddo roddi heibio 'r ymlidiad, ac ymwisgo ag arfogaeth un o'i filwyr ef; a thro arall, pan na allai ei berswadio i hynny, efe a'i cynghorai i ymattal ei hun, a pheidio a'i erlid ef yn hwy; rhag gwneud iddo ei ladd ef, ac yna y byddai yn anhawdd iddo edrych yn wyneb ei frawd. Ond pan na chymmerai Asahel mewn un modd ei berswadio, ond a barhaodd fyth i'w erlid ef, Abner a'i tarawodd ef â'i waywffon a ddygai yn ei law wrth ffoi ymaith, a thrwy ergyd o'r tu ol efe a'i clwyfodd fel y bu efe farw yn ebrwydd. Ond y rhai oedd gyd ag ef yn erlid Abner, pan ddaethant i'r lle y gorweddodd Asahel ynddo, hwy a safasant o amgylch y corph marw, ac a roddasant heibio erlid y gelyn. Pa fodd bynnag, Joab † ei hun, a'i frawd Abishai a redasant ym mlaen heibio i'r gelain; a pharodd eu digter wrth farwolaeth Asahel achlysur i zel mwy tanbaid gyfodi yn erbyn Abner; a hwy a aethant ym mlaen ar ffrwst, ac yn dra chyflym ar ol Abner, hyd at le a elwid Ammah; yr hyn oedd tu a machludiad haul. Yna 'r esgynnodd Joab i ryw fryn, fel y safodd yn y lle hwnnw, a llwyth Benjamin gyd ag ef, o ba le y cafodd olwg ar y fyddin, ac ar Abner hefyd. Yma y llefodd Abner allan yn uchel, ac y dywedodd, Nad oedd gymmwys iddynt gynhyrfu dynion o'r un genedl i ymladd mor greulon yn erbyn eu gilydd: ac ymherthynas i Asahel ei frawd, mai efe ei hun oedd yn y bai, pan na chymmerai ei berswadio ganddo ef i beidio a'i erlid ymhellach, yr hyn oedd yn achos o'i farwolaeth. Felly Joab a gydsyniodd â'r hyn a ddywedodd, ac a dderbyniodd ei eiriau

* 2 Sam. ii. 9.

† Dylid nodi yma, fod Joab, Abishai, ac Asahel, oll yn neiaint i Dafydd, a meibion ei chwaer Zeruiah, fel yn 1 Cron. ii. 16. a bod Amasa yn nai iddo, o fab ei chwaer arall Abigail. Gwel V. 17.

fel esgusodiad am Asahel; ac a alwodd ei filwyr yn ol wrth lais yr udgorn, megis arwydd o'u dychweliad, a thrwy hynny a roddodd attaliad ar erlid ymbellach. Yn ol hyn, Joab a wersyllodd yno y nos honno. Ond Abner a aeth rhagddo trwy'r nos, ac a aeth dros afon yr Iorddonen, ac a ddaeth at Ishbosheth, mab Saul, i Mahanaim. Ar y dydd nesaf Joab a gymmerodd gyfrif o'r dynion meirwon, ac a gymmerodd ofal am eu claddedigaeth. Yn awr, fe laddasid o filwyr Abner ynghylch tri chant a thrugain; ond y rhai o filwyr Dafydd pedwar ar bymtheg, heblaw Asahel, corph yr hwn a ddygodd Joab ac Abishai i Bethlehem. Ac wedi iddynt ei gladdu ym meddrod eu tadau,* hwy a ddaethant at Ddafydd i Hebron. O'r pryd hyn, gan hynny, y dechreuodd rhyfel cartrefol, yr hwn a barhaodd dros hir amser; ym mha un y cynnyddodd canlynwyr Dafydd yn gryfach drwy'r peryglon a gyfarfuant, a gweision a deiliaid meibion Saul yn feunyddiol a wanhausant.

Ynghylch yr amser yma yr oedd Dafydd† wedi dyfod yn dad chwech o feibion, wedi eu geni o gymmifer o fammau. Yr hynaf oedd o Abinoam, ac efe a elwid Amnon: yr ail oedd Daniel, o'i wraig Abigail; enw y trydydd oedd Absalom, o Maachah, merch Talmai, brenin Geshur; y pedwerydd a enwodd efe Adonijah, o'i wraig Haggith; y pummed oedd Shephatiah, o Abitail; a'r chweched a alwodd efe Ithream, o Eglah. Yn awr, tra 'r oedd y rhyfel cartrefol yma yn myned ym mlaen, a deiliaid y ddau frenin yn fynych mewn ymladdfa, Abner, pennaeth lluoedd mab Saul, ydoedd yr hwn, trwy ei gallineb, a'r cymmeriad mawr oedd ganddo ym mhlith y dyrfa, a barodd iddynt oll lynu wrth Ishbosheth. Ac yn wir hwy fuont dros hir amser o'i blaid ef. Ond yn ol hynny Abner‡ a feiwyd, a gosodwyd cyhuddiad i'w erbyn, am y rhyddid a gymmerasai gyd â Rispah, merch Aiah, a gordderchwraig Saul; felly pan achwynwyd arno gan Ishbosheth, yr oedd efe yn dra anfoddlon a dig wrtho, am na wnaethid cyfiawnder ag ef gan Ishbosheth, i'r hwn yr oedd wedi dangos cymmaint o garedigrwydd. Efe, gan hynny, a fygythiodd y trosglwyddai y deyrnas i Ddafydd; a dangos nad oedd efe yn llywodraethu ar y bobl y tu hwynt i'r Iorddonen trwy ei allu a'i ddoethineb ei hun, ond trwy ei ymddygiad milwraidd a'i ffyddlondeb ef yn arwain ei fyddinoedd. Felly efe a ddanfonodd gennadwyr i Hebron, gan ddymuno ar Dafydd roddi sicrwydd iddo trwy lw, y cyfrifai efe ef iddo yn gydymaith a chyfaill, ar yr ammod o fod iddo ef berswadio y bobl i ymadael â mab Saul, a'i ddewis ef yn frenin ar yr holl wlad. Ac wedi i Ddafydd gyfammodi felly ag Abner; (canys yr oedd yn hoff ganddo y neges hwn,) efe a ddymunodd, fel yr arwydd cyntaf o gyflawniad y cyfammod hwn, fod i'w wraig Michal gael ei hadferyd iddo ef, megis yr un ag oedd wedi ei phwrcasu â pheryglon mawr, ac â chwe' chant o bennau y Philistiaid, y rhai a ddygasai efe i Saul ei thad hi. Felly Abner a gymmerodd Michal oddiwrth Phaltiel, yr hwn y pryd hynny oedd yn wr iddi, ac a'i hanfonodd i Ddafydd, ac Ishbosheth ei hun yn cynnorthwyo i hynny; canys Dafydd a 'sgrifennasai atto, am eu dyledswydd i adferyd ei wraig iddo. Abner hefyd a alwodd ynghyd henuriaid y lliaws, y blaenoriaid a chadpeniaid ar filoedd; ac a lefarodd fel hyn wrthynt, Ddarfod iddo eu cynghori i wneud yr hyn oedd wrthwyneb i'w tueddrwydd, pan oeddynt barod i adael Ishbosheth, ac uno eu hunain â Dafydd: hyn, pa fodd bynnag, yr oedd efe yn cydsynio yn awr iddynt ei wneuthur, os oedd ganddynt ewyllys iddo; canys hwy a wyddent fod Dafydd wedi ei appwyntio yn frenin ar yr holl Hebreaid, gan Samuel y prophwyd: ac a ragddywedodd y cospai y Philistiaid, ac y dadymchwelai hwynt yn y diwedd. Yn awr, wedi i'r henuriaid a'r llywodraethwyr glywed hyn, a deall fod Abner wedi dyfod trosodd i roesawu 'r meddyliau hynny ynghylch yr achos cyffredin ag oeddynt hwy o honynt o'r blaen, hwy a newidiasant eu mesurau, ac a droisant at Ddafydd. Wedi i'r gwŷr hyn gydsynio â chynnygiadau Abner, efe a alwodd ynghyd lwyth Benjamin; (canys rhai o'r llwyth hwnnw ydoedd holl wyliedyddion corph Ishbosheth,) ac a

* 2 Sam. ii. 32.

† Bl. 1090. ‡ Bl. 1089.

lefarodd wrthynt i'r un pwrpas. A phan welodd nad oeddynt yn yr hyn lleiaf yn gwrthwynebu yr hyn a ddywedodd, ond yn rhoddi eu hunain i fynu i'w farn ef; efe a gymmerodd ynghylch ugain o'i gyfeillion gyd ag ef, ac a ddaeth at Ddafydd, mewn trefn i gael iddo ei hun sicrwydd trwy lw oddiwrtho ef. Canys ni a allwn yn gyfiawn gyfrif y pethau hynny yn gadarnach, ag a wnelir gennym ein hunain, na chan eraill trosom. Efe hefyd a roddodd gyfrif iddo o'r hyn a ddywedasai wrth y llywodraethwyr, ac wrth holl lwyth Benjamin. Ac wedi i Dafydd ei dderbyn mewn modd caredig, ac ymddwyn yn haelionus tu ag atto tros amryw ddyddiau; Abner ar ei ymadawiad a ddymunodd gennad i ddwyn y lliaws atto gyd ag ef, fel y gallai roddi y llywodraeth i fynu iddo, pan fyddai Dafydd ei hun yn bresennol, ac yn edrychwr y peth a wnelid.

Wedi i Ddafydd anfon Abner ymaith, Joab, penciwdawd ei luoedd, a ddaeth yn uniongyrch i Hebron; ac wedi deall o hono fod Abner gyd â Dafydd, ac wedi ymadael ag ef ychydig o'r blaen dan gyttundeb, fod i'r llywodraeth gael ei rhoddi i fynu i Ddafydd; efe a ofnodd rhag i Ddafydd osod Abner, yr hwn a'i cynnorthwyasai i gael y deyrnas, yn y radd uchaf o dderchafiad; yn enwedig gan ei fod yn ddyn cyfrwysgall mewn pethau eraill; yn ddealltwrus mewn matterion gwladol, ac yn eu hiawn drefniad, fel yr oedd yr amserau yn gofyn; ac y byddai iddo ef ei hun gael ei osod mewn is-sefyllfa, a blaenoriaeth yn y fyddin i gael ei gymmeryd oddi wrtho ef: felly efe a arferodd ffordd ddichellgar a drygionus. Yn y lle cyntaf efe a ymdrechodd i enllibio Abner o flaen y brenin, gan ei gynghori i edrych atto, a pheidio a gofalu am yr hyn a ymrwymodd i'w wneuthur iddo; o herwydd yr hyn oll a wnaethai oedd yn tueddu i gadarnhau'r frenhiniaeth i fab Saul; ddarfod iddo ddyfod atto ef yn dwyllodrus, a chyd â dichell; ac iddo fyned ymaith mewn gobaith o ynill ei amcan trwy 'r ymarferiad hwn. Ond pan na allodd y modd hwn berswadio Dafydd, a'i annog i gyffroi i'w erbyn, efe a roddodd ei hun i ddyfais fwy rhyfygus na 'r gyntaf. Efe a benderfynodd ladd Abner; ac mewn trefn i hynny efe a ddanfonodd negeseuwyr ar ei ol ef; i'r rhai y rhoddodd orchymmyn, pan ddeuent o hyd iddo, y galwent ef yn ei ol yn enw Dafydd; a thystio fod ganddo ryw beth i ddywedyd wrtho ynghylch ei faterion, a anghofiasai grybwyll wrtho pan oedd gyd âg ef. Yn awr, pan glybu Abner yr hyn a ddywedai y negeseuwyr, (canys hwy a'i goddiweddasant mewn rhyw le a elwid Bisera, yr hwn yr oedd ei belldra yn ugain ystâd o Hebron), ni ddychymmygodd am ddim o'r niweid oedd yn ei aros ef, ac felly a ddychwelodd. Ar hyn Joab a'i cyfarfu yn y porth, gan gymmeryd arno ei gyfarch yn y dull mwyneiddiaf, fel pe buasai yn gyfaill carediccaf i Abner: felly y rhai a arferant weithredoedd gwaethaf, mewn trefn i ragflaenu drwg dybiau am eu hamcan, ydynt yn fynych yn cymmeryd yn fawr arnynt yr hyn a wna dynion da yn wirioneddol. Felly efe a'i cymmerodd o'r neilldu oddiwrth ei ddilynwyr ei hun, megis pe buasai am lefaru wrtho yn ddirgel, ac a'i dygodd i wagle yn y porth; heb ganddo ei hun neb gyd ag ef ond ei frawd Abishai; yna efe a dynnodd ei gleddyf ac a'i brathodd yn ei goluddion, trwy 'r hyn y bu Abner farw† gan y bradwriaeth hyn o eiddo Joab; yr hyn, fel yr haerai efe, ydoedd mewn ffordd o gospedigaeth ar gyfrif ei frawd Asahel, yr hwn a darawodd ac a laddodd Abner, fel yr oedd yn ei erlid ar ol y frwydr yn Hebron; ond y gwir ydoedd, hyn a wnaeth efe rhag colli y blaenoriaeth yn y fyddin, a'i anrhydedd gyd â'r brenin; a rhag ei ymddifadu o'r manteision hynny, ac i Abner gael y rhagorfraint fwyaf yn llys y brenin. Oddiwrth y siamplau hyn y gall pawb ddysgu, pa gynnifer a pha gymmaint mesur o ddrygioni a anturia dynion iddynt, er mwyn elw ac awdurdod, ac fel na fethont feddiannu pob un o honynt. Canys pan y maent yn awyddus iddynt, hwy a geisiant eu hynnill trwy ddeg mil o ddrwg ymarferiadau: felly hefyd pan ofnant eu colli, hwy a geisiant eu cadarnhau trwy ymarferiad gwaeth na 'r cyntaf. Megis pe na's gallai drwg arall mor ofnadwy ddyfod arnynt, a methu cyrraedd i sefylla dderchafedig

† 2 Sam. iii. 27.

neu ei cholli hi, ar ol ei chaffaeliad a hir fwynhad o honi. A chan mai 'r olaf hwn a fyddai 'r trymmaf o bob trallodion, maent oll yn dyfeisio ac yn anturio ar y gorchwyliaethau mwyaf anhawdd, oddi ar ofn bod yn eu colled o'r unrhyw. Ond bydded hyn yn lle digon o adfyfyriad byr a wnaethum ar yr achos yma.

Pan glybu Dafydd ladd Abner, yr oedd yn ofidus ac yn athrist iawn; ac efe a alwodd bob dyn yn dyst, gan estyn allan ei ddwylaw at Dduw, a llefain nad oedd efe gyfrannog o fwrddrad Abner, ac na ddigwyddodd ei farwolaeth trwy ei orchymmyn na'i gyd-syniad ef. Efe hefyd a ddymunodd i'r melldithion trymmaf ddyfod ar yr hwn a'i lladdodd, ac ar ei holl dŷ: ac efe a aberthodd y rhai oedd gynnorthwywyr yn ei fwrddrad ef i'r un gospedigaeth o'i herwydd. Canys efe a gymmerodd ofal i beidio ymddangos fod ganddo un llaw yn y mwrddrad hwn, mewn gwrthwynebiad i'r sicrwydd a roddasai efe, a'r llwon a wnaethai i Abner. Pa fodd bynnag, efe a barodd i'r holl bobl wylo a galaru oblegid y gwr hwn, a dangos parch i'w gorph marw, trwy ei anrhydeddu â defodau arferedig yn ei gladdedigaeth; megis rhwygo eu dillad, a dodi sachwisg am danynt, ym mha ddull yr oeddynt i fyned o flaen yr elor. Efe hefyd a'i dilynodd ei hun, gyd â'r henuriaid, a'r rhai oedd lywodraethwyr, gan alaru am Abner, a thrwy ei ddagrau oedd yn dangos ei ewyllys da tu ag atto tra 'r oedd efe yn fyw; a'i alar am dano ac efe yn awr wedi marw; ac na chymmerasid ef ymaith trwy ei gydsyniad ef. Felly efe a'i claddodd yn Hebron, mewn modd anrhydeddus, ac a gyfansoddodd rai marwnadau iddo: efe hefyd a safai gyntaf uwch ben ei feddrod yn wylo, gan orchymmyn i eraill wneud yr un modd. Ië, mor fawr y darfu i farwolaeth Abner ei anhwylio, fel na allai ei gymdeithion mewn un modd ei berswadio i gymmeryd lluniaeth; ond efe a sicrhaodd trwy lw, na archwaethai ddim hyd fachludiad haul. Yr ymddygiad yma a ynnillodd iddo ewyllys da y lliaws; canys y rhai a garent Abner a foddlonwyd yn fawr â'r parchedigaeth a ddangosodd efe iddo, wedi ei farw; a'i sulw o'r ffyddlondeb a roddasai wystl o hono iddo, yr hyn a ddangosodd trwy ganiattau yr holl ddefodau arferedig yn ei angladd, megis pe buasai ei gâr neu gyfaill, ac heb oddef ei esgeuluso neu ddangos ammharch iddo â chladdedigaeth dianrhydeddus, megis pe buasai ei elyn. Yn gymmaint ag i'r holl genedl lawenychu wrth dymmer addfwyn a thosturiol y brenin; ac a phob un yn barod i feddwl y byddai gofal y brenin yr un wedd am danynt hwy yn y cyffelyb amgylchiadau, ag a ddangosodd yn angladdiad Abner. Ac yn wir yr oedd amcan Dafydd trwy hyn i ynnill geirda iddo; am hynny y cymmerodd ofal i wneud pa beth bynnag oedd weddus yn yr achos yma: o herwydd paham ni feddyliodd neb ei fod ef yn awdwr o farwolaeth Abner. Efe hefyd a ddywedodd wrth y lliaws ei fod ef mewn trallod mawr oblegid marwolaeth dyn mor dda, a bod yn golled mawr i achos yr Hebreaid gael o honynt eu hymddifadu o'i ddefnyddioldeb ef, yr hwn oedd mor alluog i'w hamddiffyn trwy ei ddoeth gynghorion, a thrwy rymmusdra ei ddwylaw mewn rhyfel. "Ond," eb efe, "y Duw hwnnw ag sydd yn craffu ar holl weithredoedd dynion, ni âd i'r dyn hwn (Joab) ddiangc yn ddi-ddial. Ond gwybyddwch nad wyf fi yn gallu gwneuthur dim i'r meibion hyn i Zeruiah, Joab ac Abishai, y rhai ydynt fwy eu hawdurdod na myfi. Ond Duw a ymchwel eu hamcanion rhyfygus ar eu pennau eu hunain." * A hwn oedd ddiweddiad dinystriol bywyd Abner.

## PENNOD II.

*Am lofruddiad Ishbosheth trwy fradwriaeth ei gyfeillion, a dyfodiad Dafydd i'r llywodraeth ar yr holl Deyrnas.*

WEDI i Ishbosheth, mab Saul, glywed am farwolaeth Abner, efe a'i cymmerodd yn fawr at ei galon, gael o hono ei ymddifadu o wr ag oedd o'i berthynas, ac yn wir a'i gosodasai ar y deyrnas; a marwolaeth Abner a'i blinodd ef yn fawr. Ac ni bu efe ei hun yn fyw yn hir ar ol hynny; ond yn fradychus a ymosodwyd arno gan feibion

* 2 Sam. iii. 39.

† 2 Sam. iv. 7.

Rimmon, Baanah a Rechab; ac a laddwyd ganddynt hwy. Canys a'r rhai hyn yn tarddu o deulu y Benjaminiaid, ac o'r radd gyntaf yn eu mysg, a dybiasant os lladdent Ishbosheth, y derbynient wobrwyon helaeth gan Ddafydd, a'u gwnenthur yn flaenoriaid dano ef; neu o'r hyn lleiaf, mwynhau rhyw sefyllfa anrhydeddus a ymddiriedid iddynt. Felly pan gawsant ef unwaith yn ei gwsg ganol dydd, mewn uwch ystafell, pan nad oedd neb o'i wylwyr yn agos, ac a'r ddrysores heb fod wrth y drws, ond a syrthiasai i'w chwsg hefyd; mewn rhan o herwydd ei lludded wrth weithio o'r blaen, ac hefyd oblegid gwres y dydd: y dynion hyn a aethant i mewn i'r ystafell lle yr oedd Ishbosheth, mab Saul, yn huno, ac a'i lladdasant;* torrasant ymaith hefyd ei ben ef, ac a deithiasant yr holl nos hono, a'r dydd canlynol, megis yn meddwl eu hunain yn ffoi oddiwrth y rhai a niweidiasant, at un a gymmeradwyai eu gweithred megis yn ffafr iddo ef, ac a'u diogelai hwynt. Felly hwy a ddaethant i Hebron, ac a ddangosasant i Ddafydd ben Ishbosheth; ac a'u rhoisant eu hunain iddo fel ewyllyswyr da, ac fel rhai a laddasant un oedd yn elyn, ac yn wrthwynebwr iddo. Er hynny ni chymmeradwyodd Dafydd yr hyn a wnaethant, megis yr oeddynt yn disgwyl; ond a ddywedodd wrthynt, "Chwi ddau adyn dryg-ionus! cewch dderbyn yn union-gyrch y gosp yr ydych yn ei haeddu. Oni wyddech chwi pa dd'ial a wnaethum ar yr un a laddasai Saul, ac a ddygodd i mi ei goron o aur; gan dybied wneuthur o hono ffafr, fel na ddelid ef gan ei elynion? neu a ydych yn tebygu fy mod i wedi cyfnewid yn fy nhymmer, ac yn meddwl mai nid yr un dyn ydwyf yn awr a'r pryd hynny, ond cael o honof fy moddloni gan ddynion o ddrwg weithredwyr? gan barchu eich drwg-weithred, wedi dyfod yn llofruddwyr i'ch meistr; a'i fod yn foddlon gennyf fi i chwi ladd gwr cyfiawn ar ei wely, yr hwn ni wnaeth niweid i neb; a'r hwn a ddangosodd i chwi barch ac ewyllys da. O herwydd paham chwi a ddioddefwch y gosp haeddiannol o'i blegid ef, a'r d'ial yr hwn a ddylwn osod arnoch am ladd Ishbosheth; ac am feddwl y byddai i mi ei gymmeryd yn garedig oddiar eich llaw; canys ni allasech osod anaf mwy ar fy anrhydedd, na chynnwys y fath dybiau am danaf." Wedi i Dafydd ddywedyd hyn, efe a'u poenodd â phob math o arteithiau, ac yna a'u rhoddodd i farwolaeth. Ac efe a barodd i bob defodau perthynasol gael eu harfer wrth gladdu pen Ishbosheth, yr hwn a ddododd efe ym medd Abner.†

Wedi diweddu y pethau hyn, holl bennaethiaid yr Hebreaid a ddaethant at Ddafydd i Hebron, gyd â blaenoriaid miloedd, a llywodraethwyr eraill, ac a roddasant eu hunain i fynu iddo ef; gan ei ddodi i ddeall am yr ewyllys da oedd ganddynt tu ag atto yn amser Saul, a'r parch a dalent yn ddibaid y pryd hynny iddo, pan flaenorodd ar fil o wŷr; megis hefyd y darfu ei ddewis gan Dduw trwy Samuel y prophwyd,‡ efe a'i feibion; a thystio heblaw hynny y modd y darfu i Dduw ei nerthu i fod yn waredwr i wlad yr Hebreaid, ac i orchfygu 'r Philistiaid. Ar ba achos efe a dderbyniodd eu cyfarchiad yn garedigol; gan eu hannog i barhau yn eu syniadau presennol, am na chaent achos i edifarhau am eu hymostyngiad iddo ef. Felly ar ol iddo eu gwledda hwynt, ac ymddwyn attynt yn garedigol; efe a'u hanfonodd allan i ddwyn yr holl bobl atto ef: ar ba amser y daeth atto ynghylch chwe' mil ac wyth gant o wŷr o lwyth Juda, y rhai oedd yn dwyn tariannau a gwaywffyn yn arfogaeth; canys y rhai hyn hyd yn awr a arosasant gyd â mab Saul, wedi i'r gweddill o lwyth Judah ordeinio Dafydd yn frenin iddynt. Daeth hefyd saith mil ac un cant o lwyth Simeon; allan o lwyth Lefi y daeth pedair mil a saith gant, a Jehoiadah yn arweinydd iddynt. Ar ol y rhai hyn y daeth Zadoch, yr archoffeiriad, gyd a dau a dengain o gadpeniaid, y rhai oeddynt o'i garennydd. Allan o lwyth Benjamin yr oedd nifer y gwŷr arfog yn bedair mil; ond y rhan arall o'r llwyth a

* 2 Sam. iii. 39.
† 2 Sam. iv. 12.
‡ Hyn a all fod yn sulw cywir gan Josephus; ddarfod i Samuel, drwy orchymmyn Duw, sefydlu y goron ar Ddafydd a'i hiliogaeth; canys ni chyrhaeddodd y sefydliad hwnnw ddim ym mhellach. I Solomon ei hun ni wnaethpwyd un addewid y byddai gan ei hiliogaeth ef hawl iddi.

barhasant etto i ddisgwyl rhyw un o dŷ Saul i ddyfod i lywodraethu arnynt. Y rhai hynny o lwyth Ephraim oeddynt ugain mil ac wyth gant, a'r rhai hyn oeddynt wŷr cedyrn, nerthol, a hynod am rymmusder. Allan o hanner llwyth Manasseh y daeth deunaw mil, o ddynion mwyaf cadarn. Allan o lwyth Issachar y daeth dau cant, * y rhai a wyddent beth a ddenai mewn amser i ddyfod; ond o wŷr arfog ugain mil. Allan o lwyth Zebulon deng mil a deugain o wŷr dewisol. Hwn oedd yr unig lwyth a ddaeth yn gwbl i mewn at Ddafydd; a'r rhai hyn oll oedd ganddynt yr un arfogaeth â llwyth Gad. Allan o lwyth Nephthali, y gwŷr enwog a'r llywodraethwyr oedd un mil, arfogaeth pa rai ydoedd tariannau a gwaywffyn, a'r llwyth ei hun a ddilynasant ar ol, yr hwn oedd mewn ystyr yn † aneirif. Allan o lwyth Dan yr oedd o wŷr dewisol saith mil ar hugain a chwe chant. Allan o lwyth Asher yr oedd deugain mil. Allan o'r ddau lwyth oedd tu hwynt i'r Iorddonen, a gweddill llwyth Manasseh, y rhai a arferent dariannau, a gwaywffyn, penwisgoedd, a chleddyfau, oeddynt gant ac ugain mil. Gweddill y llwyth hefyd a arferent gleddyfau. Y lliaws hyn a ddaethant ynghyd i Hebron at Ddafydd; gyd â mesur mawr o ŷd, gwin, a phob math o bethau eraill at gynhaliaeth, ac a sefydlasant Ddafydd ar y deyrnas ag un llais. Ac wedi i'r bobl wledda a chydlawenhau dros dridiau yn Hebron, Dafydd a'r holl bobl a symmudasant ac a ddaethant i Jerusalem.

## PENNOD III.

*Am yr ymosodiad ar Jerusalem, a'i darostyngiad gan y brenin Dafydd, yr hwn a yrrodd allan y Canaaneaid, ac a ddug yr Iuddewon i mewn.*

YN awr, y Jebusiaid, y rhai oeddynt drigolion Jerusalem, ac oeddynt a'u tarddiad o'r Canaaneaid, a gauasant eu pyrth; gan osod eu rhai deillion, cloffion, ac anafus ar y mur, mewn ffordd o watwor y brenin; ac a ddywedasant y byddai i'r cloffion eu hunain rwystro ei ddyfodiad i mewn. Hyn a wnaethant i ddirmygu ei awdurdod, ac megis yn ymddibynnu ar gadernid eu muriau. Dafydd wrth hyn a gyffrowyd, ac a ddechreuodd warchae ar Jerusalem, ac a ddefnyddiodd ei eithaf diwydrwydd ac ëonder yn hyn; megis yn amcanu wrth gymmeryd y lle yma egluro ei rymmusder, ac i arswydo pawb eraill a ddangosai wrthwynebiad iddo. Felly efe a gymmerodd y ddinas iselaf trwy drais; ond ‡ y tŵr neu 'r amddiffynfa a barhaodd heb ymostwng. Oddi yno y darfu i'r brenin, gan wybod y byddai i gynnygiad o uchafiaeth a gwobr annog y milwyr i weithrediadau mawrion, addaw i'r hwn a elai gyntaf tros y ffosydd ag oedd islaw y tŵr, a dringo i fynu at y tŵr ei hunan, a'i gymmeryd, gael meddiannu llywodraeth ar yr holl fyddin. Felly yr oeddynt oll yn awyddus i esgyn, heb edrych ar ddim poen yn ormod mewn trefn i gymmeryd y tŵr, o herwydd eu dymuniad i gael y blaenoriaeth ar y fyddin. Pa fodd bynnag, Joab, mab Zeruiah, a ragflaenodd y lleill oll; a chyn gynted y cyrhaeddodd hyd at y tŵr, efe a lefodd allan ar y brenin, gan gleimio iddo ei hun lywodraethiad y fyddin.

Wedi i Ddafydd fwrw y Jebusiaid allan o'r tŵr, efe a ail-adeiladodd Jerusalem, gan ei henwi yn Ddinas Dafydd, ac a drigodd yno dros holl

* Y geiriau hyn o eiddo Josephus ymherthynas i lwyth Issachar, y rhai oedd yn rhagwybod pethau a ddenai yn ol-llaw, a eglurir yn oreu wrth gyffelyb destyn, 1 Cron. xii. 32. Yr hwn oedd ganddo y fath ddeall o'r amserau ag i wybod yr hyn a ddylasai Israel wneuthur, h. y. y rhai oedd ganddynt y fath wybodaeth mewn astronomyddiaeth ag i wneuthur calendar, neu dablau cyffelyb i almanac i'r Israeliaid; fel y deallent amser eu gwyliau gosodedig; ynghyd ag aredig, hau, a chasglu eu cynhauaf i mewn yn ei iawn dymmor.

† Dwy ar bymtheg ar hugain o filoedd. 1 Cron. xii. 34.

‡ Yr hyn a fynega ein copiau eraill am fynydd Seion, megis yn unig yn cael ei alw yn briodol Dinas Dafydd, 2 Sam. v. 6---9, ac am ei chynllwyn a'r fuddugoliaeth yn awr arni gan Ddafydd, y mae Josephus yn ei gymhwyso at holl ddinas Jerusalem, er yn cynnwys y tŵr hefyd. Trwy ba awdurdod nis gwyddom; ysgatfydd mae ar ol i Ddafydd eu huno hwynt ynghyd, neu gyssylltu y tŵr a'r ddinas islaw iddo, Josephus a'u cyfrifodd fel un ddinas. Pa fodd bynnag, y tyb a ymddengys ei fod yn cael ei gadarnhau gan yr hyn a ddywed yr un Josephus ymherthynas i feddrod Dafydd, ac amryw eraill o frenhinoedd Judah, yr hwn fel y dywed awdwyr Llyfrau y Brenhinoedd a'r Croniclau, ydoedd yn ninas Dafydd, felly y dywed Josephus mai yn Jerusalem y claddwyd hwynt. Fe ymddengys fod beddrod Dafydd yn lle adnabyddus hefyd yn nyddiau Hyrcanus, gan Herod, a St. Pedr. Hynaf. XIII. 8. XIV. 7. Act. ii. 29. Yn awr, ni chafwyd y fath frenhinol feddrod o amgylch mynydd Seion; ond a geir yn gyfagos i fur gogleddol Jerusalem; y rhai, gan hynny, a debygaf ydynt yr unig feddrodau hynny. Gwel y nod ar pen. 15. Yn y cyfamser, sylwiad Josephus am y cloffion, deillion, a'r rhai anafus, megis wedi eu gosod ar y mur i gadw y ddinas neu 'r tŵr hwn, a ymddengys ei fod yn wirionedd, ac yn rhoddi 'r goleuni goreu i'r hanes yn ein Biblau ni. Mr. Ottius sy 'n iawn sylwi, ap Havercamp. t. d. 305, nad yw Josephus un amser yn crybwyll mynydd Seion wrth yr enw hwnuw; gan ei gymmeryd, fel yr wyf yn tybied, am alwedigol, ac nid am briodol enw. Y mae efe fyth yn ei alw y tŵr, neu y ddinas uchaf.

amser ei deyrnasiad. Ond am yr amser y teyrnasodd ar lwyth Judah yn unig yn Hebron, hynny ydoedd saith mlynedd a chwe' mis.* Yn awr, wedi iddo ddewis Jerusalem i fod yn ddinas frenhinol, ei achosion a lwyddodd fwy-fwy, drwy ragluniaeth Duw, yr hwn a ofalodd am eu gwellhad a'u cynnydd.† Hiram hefyd, brenin y Tyriaid, a anfonodd gennadau, ac a wnaeth gyngrair o gyfeillgarwch a chynnorthwy iddo. Efe hefyd a anfonodd iddo anrhegion; coed cedrwydd, a chreffitwyr, sef dynion cywrain yn y gelfyddyd o adeiladu, fel y gwnelid tŷ brenhinol iddo yn Jerusalem. Yn awr, Dafydd a wnaeth adeiladau o amgylch y ddinas isaf, gan gyssylltu y tŵr â hwynt, a'u gwneuthur yn un corph; ac wedi amgylchu y cwbl â chaer neu furiau, efe a appwyntiodd Joab i olygu drostynt. Dafydd, gan hynny, oedd yr hwn a yrrodd y Jebusiaid allan o Jerusalem, ac a'i galwodd wrth ei enw ei hun, Dinas Dafydd. Canys yn amser ein cyn-dad Abraham hi a elwid Salem neu Solyma.‡ Ond yn ol yr amser hynny rhai a ddywedant grybwyll am dani gan Homer, wrth yr enw Solyma, canys efe a alwodd y deml wrth yr enw Solyma, yn gyttunol â'r iaith Hebraeg, yr hyn sydd yn arwyddo Diogelwch. Yn awr, yr holl amser o'r rhyfel dan Joshua, ein tywysog milwraidd yn erbyn y Canaaneaid, y buddugoliaethodd arnynt, ac y rhannodd y tir rhwng yr Hebreaid; (ond ni allodd yr Israeliaid fyth yrru allan y Canaaneaid o Jerusalem hyd yr amser hwn y cymmerwyd hi gan Ddafydd trwy gynllwyn;) yr holl amser hyn ydoedd bum cant a phymtheg o flynyddoedd.

Bydd i mi yn awr grybwyll am Araunah, yr hwn oedd wr goludog ym mysg y Jebusiaid, ond yr hwn ni laddwyd gan Ddafydd wrth warchae ar Jerusalem, o herwydd yr ewyllys da oedd ganddo i'r Hebreaid, ynghyd a neillduol barch a charedigrwydd oedd ynddo tu ag at y brenin ei hun, yr hwn a fydd i mi gymmeryd cyfleusdra mwy prydlon i lefaru am dano§ ychydig ar ol hyn. Yn awr, Dafydd a briododd wragedd eraill, heblaw y rhai oedd ganddo o'r blaen; ac yr oedd ganddo ordderch-wragedd hefyd. Y meibion oedd ganddo oedd mewn rhifedi yn un-ar-ddeg.‖ enwau pa rai oedd Amnon, Emnos, Eban, Nathan, Solomon, Jeban, Elien, Phalna, Ennaphen, Jenae, Eliphale, a merch a elwid Tamar. Naw o'r rhai hyn a anwyd o wragedd cyfreithlon, ond y ddau olaf o ordderch-wragedd. Tamar oedd o'r un fam ag Absalom.

## PENNOD IV.

*Am chwanegol lwyddiant Dafydd yn erbyn y Philistiaid; symmudiad yr Arch i Jerusalem; a dymuniad Dafydd i adeiladu Teml.*

PAN ddeallodd y Philistiaid fod Dafydd wedi ei wneuthur yn frenin yr Hebreaid, hwy a wnaethant ryfel i'w erbyn yn Jerusalem. A phan oresgynnasant y dyffryn hwnnw a elwid Dyffryn y Cawri, yr hwn nid yw neppell oddiwrth y ddinas, gwersyllasant yno. Ond brenin yr Iuddewon, ¶ yr hwn ni chaniattaodd iddo ei hun un amser i wneuthur dim heb brophwydoliaeth, a gorchymmyn Duw, ac heb ymddibynnu arno ef am ddiogelwch tros yr amser i ddyfod, a barodd i'r archoffeiriad ragfynegi iddo beth ydoedd ewyllys Duw, a pha beth a fyddai 'r canlyniad o'r frwydr honno. Ac wedi iddo ragddywedyd yr ynnillai ef y fuddugoliaeth, a'r

* O r Fl. 1095 hyd 1088. c. c. † 2 Sam. v. 10.

‡ Rhai copiau o'r eiddo Josephus sydd â chanddynt yma Solyma neu Salem; ac eraill Hierosolyma neu Jerusalem. Y diweddaf sydd oreu yn cyttuno â'r hyn a ddywed Josephus mewn lleoedd eraill; megis Han. Rhyf. VI. 10. sef, ddarfod galw y ddinas hon Solyma neu Salem cyn dyddiau Melchisedec; ond ei galw ganddo ef Hierosolyma neu Jerusalem. Yr wyf yn hytrach yn meddwl ei galw felly ar ol derbyn o Abraham yr attebiad, Jehofah Jireh, yr Arglwydd a edrych neu a arlwya, Gen. xxii. 14. Y gair diweddaf Jireh, gydag ychydig gyfnewidiad, wedi ei ragosod wrth yr hen enw Salem, Heddwch, a wna i fynu Jerusalem. A chan fod yr ymadrodd, Duw a edrych, neu yn hytrach Duw a arlwya iddo ei hun Oen yn boeth-offrwm, adn. 8, yn cael yno ei ystyried yn ddiarhebol hyd ddyddiau Moses; hwn sydd yn ymddangos i mi yn darddiad mwyaf tebygol o'r enw hwnnw; pa un wedi hynny a arwyddai y byddai i Dduw arlwyo heddwch drwy Oen Duw, yr hwn oedd i gymmeryd ymaith bechodau'r byd. Pa fodd bynnag, yr hyn a ddodir mewn cromfachau, ni ellir yn hawdd meddwl eu bod yn wir eiriau Josephus, fel y mae Dr. Hudson yn uniawn farnu.

§ Pen. XIII. ‖ Y rhifedi yma (un ar ddeg) a'r rhan fwyaf o'r enwau hyn ydynt yn amrywio yn fawr oddiwrth y rhai hynny yn 1 Cron. iii. 1---9.

¶ Mae 'n haeddu i ni nodi yma, fel yr oedd Saul yn anfynych, a Dafydd yn dra aml yn ymgynghori â Duw trwy Urim: a bod Dafydd yn amcanu ymddiried bob amser, nid yn ei ddoethineb a'i rymmusdra ei hun, ond ar ddwyfol gyfarwyddiad; yn wrthwyneb i arferiad Saul. Gwel y nod ar III. 8. A phan ddarfu i Michal, merch Saul, ddirmygu Dafydd yn ei waith yn dawnsio o flaen yr arch, 2 Sam. vi. 16. &c. mae 'n bossibl iddi wneuthur felly, o herwydd nad oedd ei thad yn talu 'r fath barch iddi, neu i'r Urim â pha un yr ymofynnid yno; neu i addoliad Duw o'i blaen hi; ac oblegid tybied o honi ei fod yn beth islaw urddas brenin i fod mor grefyddol.

llywodraeth, efe a dywysodd allan ei fyddin yn erbyn y Philistiaid: a phan gyssylltwyd y frwydr, efe a ddaeth ei hun o'r tu ol, ac a syrthiodd ar y gelyn yn ddisymmwth, gan ladd rhai o honynt a dodi 'r lleill i ffoi. Ac na feddylied neb mai llu bychan ydoedd o'r Philistiaid a ddaethant y pryd hyn yn erbyn yr Hebreaid, gan ddyfalu hynny oddiwrth fyrr amser eu gorchfygiad, ac oddiwrth eu bod heb gwblhau un weithred a dalai ei choffa, oddiwrth arafwch eu cerddediad, a diffyg calondid: ond gwybydded fod holl Syria a Phœnicia, gyd ag amryw genhedlaethau rhyfelgar eraill heblaw y rhai hyn, a ddaethai yn gynnorthwy iddynt, ag oedd a chanddynt ran yn y rhyfel hwn. Yr hyn beth oedd yr unig achos paham, wedi eu gorchfygu mor fynych, a cholli cynnifer o ddeg miloedd o'u gwŷr, hwy a ymosodent fyth ar yr Hebreaid â mwy lluoedd. Ië yn wir, wedi iddynt fethu eu hamcan mor fynych yn y brwydrau hyn, hwy a ddeuant i ymladd â Dafydd gyd â byddin liosoccach dri o weithiau nag o'r blaen, ac a wersyllent yn yr un fan o'r wlad ag arferol. Brenin Israel, gan hynny, a ymofynodd â Duw drachefn, ymherthynas i ganlyniad y frwydr; a'r archoffeiriad a brophwydodd, ar fod iddo gadw ei fyddin yn y llwyni, a elwid Llwyni 'r Wylofain, yr hyn nid oedd bell oddiwrth wersyllfa 'r gelynion: ac na fyddai iddo ef symmud neu ddechreu ymladd, hyd oni ddeuai cynhyrfiad ar y coed, heb eu chwythu gan wynt; ond mor gynted ag y symmudai y coed hyn, ac i'r amser a ragddywedid iddo gan Dduw ddyfod, bod iddo yn ddioed fyned allan i ynnill yr hyn a barottowyd ar ei fedr eisoes, sef buddugoliaeth amlwg. Canys ni allai amrywiol bartïon byddin y gelyn ei oddef, ond a giliasant ar yr ymosodiad cyntaf, ac yntau a erlidiodd ar eu hol, ac a'u difethodd fel yr oeddynt yn myned ym mlaen hyd ddinas Gaza, yr hon yw terfyn eu gwlad hwynt: Yn ol hyn efe a yspeiliodd eu gwersyll, lle y cafodd gyfoeth lawer; ac efe hefyd a ddistrywiodd eu duwiau.

Wedi i hyn brofi yn ganlyniad y frwydr, Dafydd a farnodd yn gymmwys, trwy gydymgynghori â'r henuriaid, y llywodraethwyr, a chadpeniaid ar filoedd, i yrru am y rhai oedd ym mlodau eu hoedran, allan o'i holl gydwladwyr a thrwy 'r holl dir, a chyd a'r cwbl am yr offeiriaid a'r lefiaid; mewn trefn iddynt fyned i Ciriathjearim, i ddwyn i fynu Arch Duw o'r ddinas honno, a'i dwyn i Jerusalem, ac yno ei sefydlu hi; ac offrymmu o'i blaen yr aberthau hynny, a'r anrhydedd, â pha rai y byddai Duw arferol o gael ei foddloni. Canys pe gwnaethent y modd hwn dan deyrnasiad Saul, nid aethent dan unrhyw ddrygau niweidiol. Felly wedi dyfod holl gorph y bobl ynghyd, yr hyn a ymroisant ei wneuthur, daeth y brenin at yr Arch, yr hon a ddygodd yr offeiriaid allan o dŷ Aminadab, ac a'i gosodasant ar fenn newydd, a chaniattasant i'w brodyr a'r plant, ynghyd â'r ychain ei thynnu hi. Y brenin ydoedd yn myned o'i blaen, a holl liaws y bobl gyd âg ef; yn canu hymnau i Dduw, a gwneuthur defnydd o bob math o ganiadau arferedig yn eu plith; gyd â sain offerynnau cerddoriaeth, a dawnsio a chanu salmau; megis hefyd â sain udgyrn a symbalau; ac felly y dygasant yr Arch i Jerusalem. Ond fel ag y daethant i lawr-dyrnu * Chidon, lle a elwid felly, Uzzah † a laddwyd trwy anfoddlonrwydd Duw. Canys fel ag y darfu i'r ychain ysgwyd yr arch, efe a estynnodd allan ei law i ymaflyd ynddi hi. Yn awr, gan nad oedd efe yn offeiriad, ac er hynny a gyffyrddodd â'r Arch, Duw a'i tarawodd ef yn farw. Ar hyn y brenin a'r bobl a drallodwyd wrth farwolaeth Uzzah; a'r lle ym mha un y bu efe farw a elwir Rhwygiad Uzzah ‡ hyd y dydd hwn. Felly Dafydd a ofnodd, os cymmerai yr Arch atto ei hun i'r ddinas, y gallai ddioddef yn yr un modd ag y dioddefodd Uzzah, yr hwn, ar ei waith

---

* Cron. xiii. 19.

† Josephus a ymddengys mewn rhan o uniawn farn, pan y sylwodd yma, nad oedd Uzzah offeiriad, (er ysgatfydd y gallai fod yn Lefiad) ac a darawyd oblegid hynny yn farw am gyffwrdd â'r Arch, yn wrthwyneb i orchymmyn y gyfraith; ac am y fath fyrbwylldra ammharchus, marwolaeth oedd y gosp yn ol y gyfraith, Num. iv. 15, 20. Gwelwch y cyffelyb o'r blaen, VI. 1. Nid yw yn annhebyg, o herwydd dodi'r Arch ar fenn, pan ddylesid ei dwyn ar ysgwyddau 'r offeiriaid neu 'r Lefiaid fel y darfu gwneuthur ar y cyntaf, yn ol Josephus, wrth ei symmud o dŷ Obededom i dŷ Dafydd, y gallai fod yn achos o ennyn digofaint Duw ar dorriad y gyfraith honno. Gwel Num. iv. 15.---- 1 Cron. xv. 13.

‡ 2 Sam. vi. 8. 1 Cron. xv. 13.

yn unig yn dodi ei law ar yr Arch, a fu farw yn y modd y crybwyllwyd eisoes: gan hynny nis derbyniodd Dafydd hi atto ei hun i'r ddinas; ond a'i cymmerodd o'r neilldu i le perthynol i wr cyfiawn, a elwid Obededom, yr hwn wrth ei deulu ydoedd Lefiad; ac a orphwysodd yr Arch gyd ag ef. A hi a fu yno dri mis cyflawn. Hyn a fawrhaodd dŷ Obededom, ac a ddug arno lawer o fendithion: a phan glybu 'r brenin yr hyn a ddigwyddasai i Obededom; y modd y daethai o fod yn ddyn tlawd, mewn amgylchiadau isel, yn rhagorol ddedwydd, ac yn wrthddrych o eiddigedd i bawb a welsant neu a glywsant am ei dŷ ef; efe a gefnogodd, a chan obeithio na chyfarfyddai ag un anghyssur wrth hynny, efe a drosglwyddodd yr Arch i'w dŷ ei hun; a'r offeiriaid yn ei dwyn, tra 'r oedd saith ddosparth o gantorion, y rhai a osodid yn y drefn hynny gan y brenin yn myned o'i blaen; a thra 'r oedd efe ei hun yn chwarae ar y delyn, ac yn uno yn y gerddoriaeth; yn gymmaint a phan welodd ei wraig Michal, merch Saul, ef yn gwneuthur felly, hi a chwarddodd. Ond pan ddygasant yr Arch i mewn, hwy a'i gosodasant tan y babell a sefydlodd Dafydd iddi; ac efe a offrymmodd aberthau gwerthfawr, a hedd offrwm; ac efe a wleddodd yr holl lïaws, ac a roddodd i'r gwragedd, gwŷr, a babanod, dorth o fara a theisen, ynghyd â theisen arall wedi ei chrasu mewn padell, gydâ rhan o'r aberthau. Felly wedi iddo yn ol hyn wledda y bobl, efe a'u hanfonodd ymaith, ac a ddychwelodd i'w dŷ ei hun.

Ond wedi i Michal ei wraig, merch Saul, ddyfod a sefyll yn ei ymmyl, hi ddymunodd iddo bob hapusrwydd arall; ac a erfyniodd pa beth bynnag ymhellach a ddeisyfai, hyd eithaf possiblrwydd, ar ei roddi iddo gan Dduw, ac iddo ef fod yn dirion wrtho. Etto yr oedd hi yn ei feio, ddarfod i frenin mor fawr ddawnsio mewn modd anweddus; ac wrth ddawnsio diosg ei hun ym mysg ei weision a'i law-forwynion. Ond efe a attebodd nad oedd gywilydd ganddo wneud y peth oedd yn rhyngu bodd Duw, yr hwn a'i dewisodd ef o flaen ei thad, ac o flaen pawb eraill; y chwareuai ac y dawnsiai ef yn fynych, heb ystyried pa beth a ddywedai y llaw-forwynion, na hithau ei hun am dano ef. Felly i'r Michal hon, gwraig Dafydd, ni bu ddim plant: pa fodd bynnag pan briodwyd hi yn ol hynny â'r hwn y rhoddasai Saul hi iddo, (canys y pryd hyn Dafydd a'i cymmerasai oddi wrtho iddo ei hun) fe fu iddi bump * o blant. Ond ymherthynas i'r matterion hyn † mi draethaf mewn lle arall.

Yn awr pan welodd y brenin ei achosion yn gwellhau agos bob dydd, trwy ewyllys Duw, efe a feddyliodd y digiai ef, os, tra 'r oedd efe yn preswylio mewn tŷ o goed Cedar, yr hwn oedd o uchder mawr, ac â'r gwaith cywreiniaf arno, os edrychai heibio i'r arch tra 'r ydoedd yn aros mewn tabernacl; ac yr oedd efe yn chwennychu adeiladu teml i Dduw, fel y rhag-ddywedodd ‡ Moses y byddai i'r fath deml gael ei hadeiladu.

Ac wedi iddo ymddiddan â Nathan y prophwyd ymherthynas i hyn, a'i annog ganddo ef i wneud pa beth bynnag a ddeuai i'w feddwl, o herwydd fod Duw gyd ag ef, ac yn gynnorthwywr iddo ym mhob peth: yr oedd efe o blegid hynny yn fwy parod i ymosod ynghylch yr adeiladaeth. Ond Duw a ymddangosodd i Nathan y nos honno, ac a orchymmynodd iddo § ddywedyd wrth Dafydd, ei fod yn cymmeryd ei fwriadau a'i ddymuniadau yn garedig, gan na feddyliodd neb hyd yn awr adeiladu teml iddo; ac er bod y fath feddyliau ganddo, nid oedd yn caniattau iddo adeiladu teml iddo ef, o herwydd iddo wneuthur llawer

* Oddi yma diwygier ein copiau, 2 Sam. vi. 23. † Hyn sydd yn awr yn eisiau. ‡ Josephus sydd yn hyspysu i ni yma ddarfod, yn ol ei ddealldwriaeth ef am ystyr ei gopi o'r pentateuch, i Moses ei hun ragd i ywedyd am adeiladaeth y deml; yr hyn nid yw etto, am a wn i, yn ein copiau presennol. Ac mai nad camsyniad yw hyn, wedi ei osod i lawr ganddo ef mewn byrbwylldra, a ymddengys oddiwrth yr hyn a grybwyllodd o'r blaen, IV. 8. pa fodd y rhagfynegodd Moses, fel ar anufudd-dod yr Iuddewon i'w cyfreithiau, mewn amser i ddyfod, y byddai i'w teml gael ei llosgi, a'i hail-adeiladu; a hynny nid unwaith yn unig, ond amryw weithiau eraill. Gwelwch hefyd grybwylliad Josephus am orchymmynion Duw o'r blaen i adeiladu y cyfryw deml yn ddiymaros, pen. 14, yn wrthwyneb i'n copiau eraill; neu o'r hyn lleiaf i'n cyfieithiad ni o'r Hebraeg, 2 Sam. vii. 6, 7. 1 Cron. xvii. 5, 6.

§ Josephus sydd yn ymddangos yn y lle hwn, gyd â'n diweddar ddeonglwyr, yn cymmysgu y ddau ragfynegiad gwahanol, y rhai a roddodd Duw i Dafydd ac i Nathan, ymherthynas i adeiladu iddo deml, gan un o hiliogaeth Dafydd; un yn perthyn i Solomon, a'r llall i'r Messiah: y gwahaniaeth rhwng pa rai sydd o'r canlyniad mwyaf i'r grefydd Gristionogol; ac am yr hyn y traethais yn helaethach yn fy nghyhoeddiad o Lecturau Boyle; o du dal. 247---272. At yr hwn draethawd y cyfarwyddaf y dyrllenydd ymofyngar. Gwel hefyd Hynaf. VII. 13. a 14.

o ryfeloedd, a'i halogi â gwaed ei elynion; mai, pa fodd bynnag, ar ol ei farwolaeth yn ei henaint, wedi byw o hono hir flynyddoedd, yr adeiladid teml gan fab iddo, yr hwn a gymmerai lywodraeth y deyrnas ar ei ol ef, a'r hwn a elwid Solomon, yr hwn a addawodd arlwyo iddo, fel y darpara tad i'w fab, trwy gynnal y deyrnas i hiliogaeth ei fab, a'i rhoddi i fynu iddynt hwy; ond os pechai, y cospid ef ganddo â chlefydau, ac â diffrwythder yn y tir. Wedi i Ddafydd ddeall hyn gan y prophwyd, a'i dra-llawenychu trwy'r wybodaeth hon, o sicr barhad y frenhiniaeth ym mhlith ei hiliogaeth, ac y byddai i'w dŷ ddisgleirio ac yn dra hynod, efe a ddaeth at yr arch, ac a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ddechreuodd addoli Duw, a diolch iddo am ei holl roddion, yn gystal ag am yr hyn a gyfranasai eisoes iddo, yn ei dderchafu o radd isel, ac o swydd bugail, i gymmaint derchafiad o anrhydedd ac ardderchogrwydd; megis hefyd am yr hyn a addawodd i'w hiliogaeth; ac hefyd am ei ragluniaeth honno a ddefnyddiodd dros yr Hebreaid, yn gorchymmyn iddynt y rhyddid a fwynhasant. Ac wedi llefaru fel hyn, a chanu hymn o fawl i Dduw, efe a ymadawodd.

## PENNOD V.

*Am lwyddiant Dafydd yn erbyn y Philistiaid a'r Moabiaid, a Brenhinoedd Sophene a Damascus, y Syriaid, a'r Idumeaid; am ei gyngrair â Brenin Hamath; a'i ddiolch am gyfeillgarwch Jonathan.*

YCHYDIG o amser yn ol hyn* Dafydd a ystyriodd, y dylai wneuthur rhyfel yn erbyn y Philistiaid, a pheidio goddef i ddim segurdod ymddangos yn ei lywodraethiad; fel y gellid profi trwy hynny yr hyn a ragddywedodd Duw, wedi iddo ddadymchwelyd ei elynion, y gadawai ei hiliogaeth i deyrnasu mewn tangnefedd. Felly efe a alwodd ynghyd ei fyddin, ac a archodd iddynt ymbarottoi yn ebrwydd i ryfel: a phan feddyliodd fod pob peth mewn parodrwydd, efe a symmudodd o Jerusalem, ac a ddaeth yn erbyn y Philistiaid; ac wedi iddo eu gorchfygu mewn brwydr, a thorri ymaith oddiwrthynt y rhan fwyaf o'u gwlad, a'i gyssylltu â gwlad yr Hebreaid, efe a symmudodd y rhyfel at y Moabiaid. Ac wedi iddo orchfygu dwy ran o'u byddin mewn brwydr, efe a gymmerodd y rhan arall yn gaethion, ac a osododd deyrnged arnynt i'w thalu yn flynyddol.† Yna, efe a wnaeth ryfel yn erbyn Hadadezer, fab Rehob,‡ brenin Sophene; ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr ag ef, wrth afon Euphrates, efe a ddifethodd ugain mil o'i wŷr traed, ac ynghylch saith mil o'i wŷr meirch. Efe hefyd a gymmerodd fil o'i gerbydau, ac a ddifethodd y rhan fwyaf o honynt; ac a orchymmynodd na chedwid ychwaneg o honynt nag § un cant.

Yn awr wedi i Hadad,‖ brenin Damascus a Syria glywed fod Dafydd yn ymladd yn erbyn Hadadezer, yr hwn oedd gyfaill iddo, efe a ddaeth yn gynnorthwy iddo gyd â byddin lïosog mewn gobaith o'i amddiffyn: ond wedi iddo ymgyssylltu mewn brwydr â Dafydd wrth Euphrates, efe a fethodd yn ei amcan; ac a gollodd nifer mawr o'i filwyr; canys fe laddwyd o fyddin Hadad ugain mil, a'r gweddill oll a ffoisant. Nicolaus o Damascus hefyd sy 'n

* Ynghylch Bl. 1081. † 2 Sam. viii. 2.

‡ Pa un a'i Syria Zobah, 2 Sam. iii. 8. 1 Cron. xviii. 3---8, ydoedd Sophene, fel y mae Josephus yn tybied yma; yr hon etto y mae Ptolomy yn ei chyfrif tu hwnt i Euphrates; fel y mae Dr. Hudson yn sylwi yma, pan yr oedd Zobah y tu yma iddi; neu pa un a oedd Josephus yma yn euog o gamgymmeriad yn ei ddarluniad, ni fedraf yn sicr benderfynu.

§ Dafydd wrth gadw yn unig 100 o gerydau iddo ei hun allan o 1000 a gymmerasai oddiar Hadadezer, a wnaeth hynny o bsssibl, mewn cydsyniad â chyfraith Moses, yr hon a waharddai i frenin Israel amlhau meirch iddo ei hun, Deut. xvii. 16. Un o ddefnydd pennaf meirch y pryd hynny yn Judea ydoedd tynnu cerbydau; gwel Hynaf. V. 1. ac ymddiddaniad Esgob Sherlock ar yr achos hwnnw.

‖ Mae 'n haeddu yma i ni sylwi am yr Hadad hwn, pa un oedd frenin tra nerthol, y modd y buddugoliaethwyd arno gan Dafydd; hiliogaeth pa un yn ol hynny tros amryw genhedlaethau a elwid Benhadad, neu fab Hadad, hyd ddyddiau Hazael; mab yr hwn, Adar neu Ader, sydd hefyd yn ein copiau Hebraeg, 2 Bren. xiii. 24. wedi ei ysgrifenu Benhadad; ond yn Josephus Adad neu Adar. A pheth dieithr ydyw, fod mab Hazael, a gydnabyddid felly yn yr un testyn, ac yn Josephus, IX. 8. yn cael ei alw fyth yn fab Hadad. Ewyllysiwn, gan hynny, ddiwygio ein copi Hebraeg, allan o Josephus; yr hwn a ymddengys fod ganddo yr iawn ddarlleniad. Ac nid yw tystiolaeth Nicolaus o Ddamascus, a gymmerir i mewn yn y lle hwn gan Josephus, yn ymddangos yn ddifeius, pan ddywed mai efe oedd y trydydd o'r Hadiaid, neu 'r ail o'r Benhadiaid, yr hwn a warchaeodd ar Samaria yn nyddiau Ahab. Rhaid ei fod yn hytrach yn seithfed neu wythfed, os ydoedd deg i gyd o'r enw hwnnw, fel y sicrheir i ni fod. Canys tystiolaeth a wna yr holl Hadiaid neu y Benhadiaid o'r un achau; a darfod iddynt yn ddidorr y naill ganlyn y llall: pan nad oedd Hazael o'r un âch, ac nis gelwir ef Hadad neu Benhadad yn un copi. A nodwch fod o amser yr Hadad hwn yn nyddiau Dafydd, hyd ddechreu amser Hazael 200 o flynyddoedd, yn ol amseryddiaeth cywiraf Josephus.

crybwyll am y brenin, yn y pedwerydd llyfr o'i hanesion, lle y mae yn dywedyd, "Ym mhen amser mawr wedi digwydd y pethau hyn, yr oedd un o'r wlad honno a'i enw Hadad, yr hwn oedd wedi tyfu yn dra galluog. Efe a deyrnasodd ar Damascus, a rhannau eraill o Syria, oddi eithr Phœnicia. Efe a wnaeth ryfel yn erbyn Dafydd, brenin Judea, ac a brofodd ei anturiaethau mewn amryw frwydrau, ac yn enwedig yn y frwydr ddiweddaf, wrth Euphrates, lle y gorchfygwyd ef. Efe a ymddengys ei fod yn fwyaf rhagorol o'u holl frenhinoedd mewn nerth a gwroldeb." Heblaw hyn efe a ddywed am ei hiliogaeth, mai wedi ei farwolaeth, ddilyn o honynt y naill ar ol y llall yn y frenhiniaeth, ac yn yr un enw; lle y dywed fel hyn, "Pan fu farw Hadad, ei hiliogaeth a deyrnasasant dros ddeg o genedlaethau, gan gael eu llywodraeth a'u henwau y naill gan y llall, fel y cafodd y Ptolomeaid yn yr Aipht. Ond y trydydd oedd y mwyaf galluog o honynt oll; ac oedd ewyllysgar i ddial y golled a gawsai ei gyndad: felly efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Iuddewon, ac a osododd yn anghyfannedd y ddinas a elwir yn awr Samaria." Ac ni chyfeiliornodd oddiwrth y gwir. Canys hwn yw yr Hadad a wnaeth ymgyrch yn erbyn Samaria, yn nheyrnasiad Ahab, brenin Israel; ymherthynas i'r hwn y traethwn yn ei le priodol yn ol hyn.

Yn awr, wedi i Ddafydd wneuthur ymgyrch yn erbyn Damascus, a rhannau eraill o Syria, a'u dwyn oll i ymostyngiad, a gosod ymddiffynfeydd yn y wlad, a'u happwyntio i dalu teyrnged, efe a ddychwelodd adref. Efe hefyd a gyssegrodd i Dduw yn Jerusalem y saeth-gawellau aur, a'r holl arfogaeth a wisgai gwylwyr Hadad; y rhai a gymmerodd Shishac, brenin yr Aipht ymaith, pan ymladdodd ag ŵyr Dafydd, Rehoboam; gyd â llawer o gyfoeth arall, a ddug efe ymaith o Jerusalem. Pa fodd bynnag, y pethau hyn a ddeuant i'w hamlygu yn eu priodol leoedd yn ol hyn. Yn awr, ymherthynas i frenin yr Hebreaid, efe a gynnorthwywyd gan Dduw, yr hwn a roddodd lwyddiant mawr iddo yn ei ryfeloedd; ac efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn dinasoedd goreu Hadadezer, Betah a Machon. Felly efe a'u cymmerodd trwy drais, ac a'u hanghyfanneddodd. Ynddynt hwy cafwyd mesur mawr o aur ac arian, heblaw y fath hwnnw o bres ag a ddywedir ei fod yn werthfawrocach nag aur. O ba ryw bres y gwnaeth Solomon y llestr mawr hwnnw a elwid y môr tawdd; a'r noëau cywraint hynny, pan adeiladodd deml Dduw.

Ond wedi i frenin Hamath gael ei wneud yn hyspys o aflwyddiant Hadadezer, a chlywed am ddinystr ei fyddin, yr ydoedd yn ofnus o'i herwydd ei hun, ac a ymroddodd i wneuthur cyngrair o gymdeithasrwydd â Dafydd, cyn dyfod o hono i'w erbyn. Felly efe a anfonodd atto ei fab Joram, ac a addefodd fod arno rwymau i ddiolch iddo am ymladd yn erbyn Hadadezer, yr hwn ydoedd ei elyn; ac a wnaeth gyfammod ag ef o gydgynnorthwyad a chyfeillgarwch. Efe hefyd a anfonodd iddo anrhegion, llestri o waith hynafiaethol, o aur, arian, a phres.* Felly wedi i Ddafydd wneud y cyttundeb hwn o gydymddiffyniad â Toi, (canys dyna oedd enw brenin Hamath,) a derbyn yr anrhegion a ddanfonasai, efe a anfonodd ei fab ymaith gyd â'r parch oedd yn gweddu i bob ochr. Ond pan ddug Dafydd yr anrhegion hyn a ddanfonwyd ganddo, megis hefyd y rhan arall o'r aur a'r arian a gymmerasai efe o ddinasoedd y cenhedloedd a orchyfygasai, efe a'u cyssegrodd i Dduw. Ac ni roddodd Duw yn unig fuddugoliaeth a llwyddiant iddo pan aeth i'r frwydr ei hun, ac yr arweiniwyd ei filwyr ganddo yn bersonol; ond efe a roddes fuddugoliaeth i Abishai, brawd Joab, rhaglaw ei fyddinoedd,† ar yr Idumeaid. Canys Abishai a ddistrywiodd ddeunaw mil o honynt yn y frwydr. Wedi hyn brenin Israel a osododd amddiffynfeydd trwy holl Idumea, ac a dderbyniodd deyrnged

* 1 Cron. xviii. 9, 10.

† Trwy 'r fuddugoliaeth fawr hon ar yr Idumeaid neu 'r Edomiaid, hiliogaeth Esau, ac wrth y deyrnged ganlynol a dalwyd gan y genedl honno i'r Iuddewon, y cyflawnwyd y brophwydoliaeth a lefarwyd wrth Rebecca cyn geni Jacob ac Esau, a chan yr hen Isaac cyn ei farwolaeth, y byddai i'r hynaf, Esau, neu 'r Edomiaid, wasanaethu 'r ieuangaf, Jacob, neu 'r Israeliaid; a Jacob, neu 'r Israeliaid yn arglwydd ar Esau, neu 'r Edomiaid, yn cael ei chyflawni yn dra hynod. Gwel VIII. 7. Gen. xxv. 23. a'r xxvii. 29. 37. a'r Nod ar I. 18.

y wlad, a chan bob pen yn eu mysg. Yn awr, yr oedd Dafydd o naturiaeth yn gyfiawn, ac a wnaeth ei benderfyniadau yn un â gwirionedd. Yr ydoedd ganddo Joab yn benciwdawd ar ei fyddin; ac efe a wnaeth Jehosaphat, mab Abilud yn gofiadur. Efe hefyd a appwyntiodd Zadoc, o deulu Phineas, i fod yn archoffeiriad, ynghyd ag Abiathar; canys yr ydoedd efe yn gyfaill iddo. Efe hefyd a wnaeth Seisan yn ysgrifenydd. Ac a orchymmynodd ofal ei wyl wyr i Benaiah fab Jehoida. Ei feibion hynaf ydoedd nesaf at ei gorph, a'i ofal arnynt hefyd.

Efe hefyd a alwodd i gof y llwon a'r cyfammodau a wnaeth efe â Jonathan mab Saul; y cyfeillgarwch a'r serchowgrwydd oedd gan Jonathan atto ef. Canys heblaw cynneddfau odiaethol eraill â pha rai yr oedd wedi ei gynnysgaeddu, yr ydoedd hefyd yn dra ystyriol o'r cyfryw ag a ddarfu, ar amserau eraill, gyfrannu rhoddion iddo ef. Efe, gan hynny, a roddes orchymmyn ar fod i ymofyniad gael ei wneuthur, a ydoedd rhai o deulu Jonathan yn fyw; i'r hwn y gallai ddychwelyd yn ol y caredigrwydd oedd rhwng Jonathan ag ef; ac am yr hyn yr oedd fyth yn ddyledwr. Ac wedi i un o wŷr rhyddion Saul gael ei ddwyn atto, yr hwn oedd adnabyddus o'r rhai o'i dylwyth ag oedd etto yn fyw; efe a ofynnodd iddo pa un a wyddai am rai o berthynasau Jonathan ag oedd yn fyw; ac yn gymmwys i wneuthur cydnabyddiaeth iddo o'r hyn a dderbyniasai gan Jonathan? y dyn a attebodd fod mab iddo yn fyw a elwid Mephibosheth, ond ei fod ef yn gloff o'i draed; oblegid pan glybu ei fammaeth fod ei dad a'i daid wedi syrthio yn y frwydr, hi a'i cipiodd ar ei chefn, ac a ddiangodd ymaith; ond gan ei brys efe a syrthiodd oddiar ei hysgwyddau, ac a gloffodd o'i draed. Felly pan ddysgodd wybod pa le, a chan bwy y dygwyd ef i fynu, efe a anfonodd negeseuwyr at Machir, i ddinas Lodebar; canys gyd ag ef yr oedd mab Jonathan wedi ei ddwyn i fynu, ac a archodd ei ddwyn atto ei hun. Felly pan ddaeth Mephibosheth at y brenin, efe a syrthiodd ar ei wyneb, gan ymgrymmu iddo ef. Ond Dafydd a'i cefnogodd ef, ac a barodd iddo fod yn gyssurus, a disgwyl gwell amserau. Felly efe a roddodd iddo dŷ ei dad, a'r holl etifeddiaeth a berthynai i dŷ ei daid Saul; gan orchymmyn iddo ddyfod i ymborthi ar ei fwrdd ef, a pheidio absennoli ei hun dros un diwrnod. Ac wedi i'r dyn ieuangc ymgrymmu iddo oblegid ei eiriau, a'r rhoddion a addawsai iddo; efe a alwodd ar Ziba ac a ddywedodd wrtho, roddi o hono i'r dyn ieuangc dŷ ei dad, a holl etifeddiaethau Saul. Efe hefyd a ordeiniodd i Ziba lafurio ei dir, a dwyn o hono 'r ffrwyth oll i Jerusalem. Yn ganlynol, Dafydd a'i dygodd at ei fwrdd bob dydd, ac a roddodd i wylio arno Ziba a'i feibion, y rhai oedd bymtheg o nifer, a'i weision y rhai oeddynt ugain. Wedi i'r brenin orchymmyn y modd hwn, a Ziba ymgrymmu iddo, ac addaw gwneuthur yn ol yr hyn oll a ddywedasai, efe a aeth ymaith. Felly y mab hwn i Jonathan a fu byw yn Jerusalem, ac a'i porthwyd ar fwrdd y brenin, ac a gafodd yr un gofal wedi ei gymmeryd tu ag atto a phe buasai yn fab: i'r hwn hefyd y bu fab ei hun,* yr hwn a enwodd Micha.

## PENNOD VI.

*Am y Rhyfel yn erbyn yr Ammoniaid, a'i ddiwedd dedwyddol.*

YNGHYLCH yr amser hyn † y bu farw Nahash, brenin yr Ammoniaid, yr hwn a fuasai gyfeillgar â Dafydd. Ac wedi i'w fab gymmeryd ei le yn llywodraeth y deyrnas, Dafydd a ddanfonodd gennadwyr atto i'w gyssuro ef; gan ei gynghori i gymmeryd yn amyneddgar farwolaeth ei dad, ac i ddisgwyl parhad o'r un cyweithasrwydd oddiwrtho ef, ag a ddangosasai tu ag at ei dad. Ond tywysogion yr Ammoniaid a dderbyniasant y neges hwn mewn anghariad, ac nid yn y modd yr oedd tymmer dirion Dafydd yn ei gynnyg iddynt; a hwy a gynhyrfasant y brenin i fod o'r un feddyliau â hwynt, gan ddywedyd, mai anfon gwŷr yr oedd Dafydd i yspïo 'r wlad, i weled pa gadernid oedd ynddi, dan liw o ddangos cydymdeimlad ac ewyllys da. Ymhellach, hwy a'i cynghorasant i beidio

* 1 Cron. viii. 34.

† Ynghylch Bl. 1078, c. c.

rhoddi gwrandawiad i eiriau Dafydd, rhag ei dwyllo ganddo ef, ac felly syrthio i flinder anesgorol. Yn ganlynol, mab Nahash, brenin yr Ammoniaid, a feddyliodd lefaru o'r tywysogion hyn bethau mwy tebygol nag oedd y gwir yn ei ganiattâu. Felly gwnaethant gamdriniaeth â'r cennadwyr hyn; canys hwy a eilliasant un hanner eu barfau, ac a dorrasant ymaith hanner eu gwisgoedd; gan anfon ei attebiad, nid mewn geiriau, ond mewn gweithredoedd. Pan wybu brenin Israel hyn, yr oedd yn ddig o'i herwydd; ac a ddangosodd yn amlwg na fynnai edrych heibio i'r driniaeth niweidiol ac ammharchus yma; ond a fynnai wneuthur rhyfel â'r Ammoniaid, a dial y driniaeth ddrygionus hon i'w gennadwyr ar eu brenin. Felly cymdeithaswyr a blaenoriaid y brenin hwnnw, wedi deall iddynt dorri eu cyfammod, a'u bod yn ddarostyngol i gospedigaeth am yr unrhyw, a ymbarottoisant i ryfel; hwy hefyd a anfonasant fil o dalentau i frenin y Syriaid ym Mesopotamia, gan ymdrechu i'w ynnill ef a Shobach* i'w cynnorthwyo, â'r taliad hwnnw. Canys yr oedd gan y brenhinoedd hyn ugain mil o wŷr traed. Hwy a gyflogasant hefyd frenin y wlad a elwid Maacah, a phedwarydd frenin, wrth yr enw Ishtob, yr hwn ddiweddaf un ydoedd ganddo ddeuddeg mil o wŷr arfog.

Nid oedd dim dychryn ar Ddafydd o herwydd y cyngrair hwn; nac oblegid lluoedd yr Ammoniaid. Ond gan roddi ei ymddiried yn Nuw, am ei fod yn myned i ryfel ar achos cyfiawn, ac ar gyfrif y driniaeth anweddus a gafodd; efe yn union-gyrch a ddanfonodd Joab, † blaenor ei fyddin, yn eu herbyn, gyd â blodau ei arfogion. Joab a wersyllodd wrth Rabbath, prif ddinas yr Ammoniaid; ar hyn daeth y gelyn allan, gan osod eu hunain mewn trefn i ymladd; nid i gyd ynghyd, ond megis yn ddau gorph. Canys eu lluoedd cynnorthwyol a drefnasid yn y gwastadtir wrthynt eu hunain; ond byddin yr Ammoniaid wrth y pyrth, ar gyfer yr Hebreaid. Pan welodd Joab hyn, efe a osododd y naill ddichell yn erbyn y llall, gan ddewis y rhai cadarnaf o'i wŷr, a'u dodi i wrthwynebu brenin Syria, a'r brenhinoedd oedd gyd ag ef; ac a adawodd y rhan arall tan ofal ei frawd Abishai, gan beri iddo eu gosod i wrthwynebu yr Ammoniaid; gan ddywedyd wrtho, os gwelai yr Assyriaid yn ei drechu ef, ac yn rhy galed iddo, am orchymmyn o hono i'w luoedd droi o amgylch a'i gynnorthwyo ef; ac a ddywedodd y gwnai efe ei hun yr un modd, os gwelai ef yn cael ei drechu gan yr Ammoniaid. Felly efe a ddanfonodd ei frawd o'r blaen, gan ei annog i galondid a sirioldeb, yr hyn a'i haddysgai i arswydo anair, ac i ymladd yn wrol. Ac felly efe a'i gollyngodd i ymladd â'r Ammoniaid, tra y syrthiodd efe ei hun ar y Syriaid. Ac er iddynt wneuthur gwrthwynebiad cryf tros amser, Joab a laddodd lawer o honynt, ac a yrrodd y lleill i ffoi ymaith; yr hyn pan welodd yr Ammoniaid, ag arnynt hwy hefyd ofn Abishai a'i fyddin, ni arosasant ddim yn rhagor, ond a ddilynasant arfer eu cynnorthwywyr, gan ffoi i'r ddinas. Felly Joab, yn ol iddo orchfygu 'r gelyn y modd hwn, a ddychwelodd gyd â gorfoledd mawr i Jerusalem, at y brenin.

Y trechiad hwn ni pharodd i'r Ammoniaid fod yn llonydd, neu addef y rhai oedd uwchlaw iddynt, eu bod felly. Ond hwy a anfonasant at Chalaman,‡ brenin y Syriaid, y tu hwnt i Euphrates, ac a'i cyflogasant ef i'w cynnorthwyo hwynt. Yr oedd ganddo Shobach yn gadben ei lu, gyd â phedwar ugain mil o wŷr traed, a deg mil o wŷr meirch. Yn awr, pan ddeallodd brenin yr Hebreaid fod yr Ammoniaid wedi casglu llu mor fawr ynghyd drachefn, efe a benderfynodd na wnai ryfel â hwynt mwy trwy flaenoriaid ei fyddin, ond a aeth ei hun dros afon yr Iorddonen gyd â'i holl fyddin: ac wedi eu cyfarfod efe a ymgyssylltodd mewn brwydr â hwynt, ac a laddodd ddeugain mil o'u gwŷr traed, a saith mil o'u gwŷr meirch. Efe hefyd a glwyfodd Shobach, penciwdawd byddin Chalaman, yr hwn a fu farw o'r ergyd hwnnw. Ond pobl Mesopotamia, wedi 'r fath derfyniad o'r frwydr, a roesant eu hunain i fynu i Ddafydd, gan anfon anrhegion iddo. Yr hwn yn amser

* Josephus a gymmerodd y Shobach a'r Ishtob a grybwyllir rhagllaw, am enwau tywysogion neu gadpeniaid, ac nid am wledydd, fel y maent ynghopiau presennol yr Hebraeg a'r Septuagint. Pa un sydd ar yr iawn nis gallaf ei benderfynu. †2 Sam. x. 7. ‡Ynghylch. Bl. 1077.

gauaf a ddychwelodd i Jerusalem: ond ddechrau'r gwanwyn,* efe a ddanfonodd Joab, cadben y llu, i ymladd yn erbyn yr Ammoniaid, yr hwn a oresgynnodd eu holl wlad, ac a'u cauodd i fynu yn eu prif ddinas Rabbah, ac a'u gwarchaeodd yno.

## PENNOD VII.

*Am Odineb Dafydd gyd â Bathsheba, a llofruddiad ei gwr Urïah, am yr hyn y ceryddwyd ef gan Nathan.*

OND Dafydd a gwympodd yn awr i bechod tra galarus; er ei fod, mewn modd amgen, o naturiaeth yn gyfiawn, ac yn ddyn tra chrefyddol, ac un oedd yn manwl sylwi ar gyfreithiau ein tadau. Canys ag efe yn edrych o amgylch oddi ar nenn ei frenhindy yn yr hwyrddydd, lle yr arferai rodio yn yr awr honno; efe a ganfu wraig yn ymolchi yn ei thŷ ei hun. Yr oedd hi yn un o degwch rhagorol, tu hwnt i'r holl fenywaid. Ei henw oedd Bathsheba. Felly efe a orchfygwyd gan lendid y wraig honno, ac yr ydoedd yn analluog i ffrwyno ei ddymuniadau, ond efe a anfonodd am dani, ac a orweddodd† gyd â hi. Wedi hyn hi a feichiogodd, ac a anfonodd at y brenin, a'r fod iddo ystyried rhyw ffordd i guddio ei phechod; canys yn ol cyfreithiau eu tadau, yr hon a fyddai 'n euog o odineb a ddylid ei ‡rhoddi i farwolaeth. Felly y brenin a ddanfonodd am gludydd-arfau Joab, o'r gwersyll, pa un ydoedd wr y wraig Bathsheba, a'i enw oedd Urïah. Ac wedi ei ddyfod, y brenin a ymofynnodd ag ef ynghylch y fyddin, a'r gwarchae; ac wedi atteb o hono fod eu holl fatterion yn myned ym mlaen yn gyfattebol i'w dymuniad, y brenin a gymmerodd ryw gyfran o fwydydd oddi ar ei swpper, ac a'u rhoddodd iddo ef, gan beri iddo fyned adref at ei wraig, a chymmeryd ei orphwysdra gyd â hi. Urïah ni wnaeth felly, ond a orweddodd yn agos i dŷ 'r brenin, gyd ag eraill o'i gludwyr-arfau. Pan wnaed y brenin yn hyspys o hyn, efe a'i holodd ef paham nad aethai adref i'w dŷ, ac at ei wraig, yn ol cyhyd o absennoldeb? yr hyn yw arfer naturiol pob dyn, wedi hir ymdaith. Efe a attebodd nad oedd weddus iddo ef, tra 'r oedd ei gyd-filwyr, a blaenor y fyddin yn cysgu ar y ddaear yn y gwersyll, a hynny yngwlad gelynion, fyned a chymmeryd ei orphwysfa gyd â'i wraig. Wedi iddo atteb y modd hwn, gorchymmynodd y brenin iddo aros yno y nos honno; fel y gollyngai ef ymaith y dydd nesaf at flaenor y fyddin. Felly y brenin a wahoddodd Urïah i swpper, ac mewn modd dichellgar a'i llanwodd o win yn ol swpper, nes ei orchfygu ganddo. Etto efe er hynny a orweddodd wrth borth y brenin, heb duedd ganddo i fyned at ei wraig. Ar hynny y brenin oedd dra digllon wrtho, ac a ysgrifennodd at Joab, gan orchymmyn iddo gospi Urïah; canys dywedodd iddo ei ddigio ef; ac efe a roddodd ar ddeall iddo y modd y mynnai ei gospi, fel nad amlygid mai efe oedd awdwr ei gospedigaeth. Canys efe a orchymmynodd iddo ei osod ar gyfer y rhan honno o fyddin y gelyn lle y byddai 'r ymosodiad yn fwyaf peryglus, ac yntau yn fwyaf unig a darostyngedig i syrthio; parodd hefyd iddo orchymmyn i'w gydfilwyr gilio ymaith o'r frwydr. Wedi iddo ysgrifennu fel hyn, a selio 'r llythyr â'i sêl ei hun, efe a'i rhoddodd at Urïah i'w ddwyn ganddo i Joab. Wedi i Joab ei dderbyn, ac wrth ei ddarllen ddeall amcan y brenin, efe a osododd Urïah yn y lle hwnnw ag y gwyddai y byddai 'r gelyn yn fwyaf niweidiol iddynt; ac a roddodd yn gyd-ymladdwyr iddo rai o'r milwyr dewraf yn y fyddin, gan ddywedyd y deuai efe yn gynnorthwy iddynt â'r holl fyddin; fel, o byddai bossibl, y gallent dorri i lawr ddarn o'r mur, a myned i mewn i'r ddinas. Ac a ddymunodd iddo fod yn dda ganddo gael y cyfleustra o roddi ei hun i'r fath drwm lafur, a pheidio ag anfoddloni wrtho, gan ei fod yn filwr calonnog, a chael o hono glod am ei wrolder, gyd â'r brenin, a chyd â'i gydwladwyr. Ac wedi i Urïah gymmeryd arno y gwaith a osodwyd iddo gyd â sirioldeb, Joab a roddes orchymmyn o'r neilldu i'r rhai oedd i gyd-ymladd ag Urïah, pan welent y gelynion yn gwneud rhuthr, fod iddynt gilio oddiwrtho a'i adael ef yn unig. Wedi i'r Hebreaid, gan hynny, wneuthur ymosodiad ar y ddinas, yr Ammoniaid oeddynt yn

* Bl. 1076. † 2 Sam. xi. 2—6. ‡ Lef. xx. 10.

ofni rhag i'r gelyn eu rhwystro hwynt, a dringo i fynu i'r ddinas; a hynny yn yr unig le y gosodasid Urïah i sefyll ynddo. Felly hwy a osodasant eu milwyr glewaf ar y tu-wyneb, gan agoryd eu pyrth yn ddisymmwth, ac a gwympasant ar y gelynion yn dra thanbaid, a rhedasant arnynt yn egnïol. Pan welodd y rhai oedd gyd âg Urïah hyn, hwy a giliasant wysg eu cefn, fel y gorchymmynasai Joab; ond Urïah megis â chywilydd arno ddiangc ymaith o'i le, a oddefodd danbeidrwydd yr ymosodiad, ac a laddodd amryw o'r gelynion; ond wedi ei amgylchu a'i ddala yn eu canol hwynt, efe a laddwyd;* a rhai eraill o'i gydfilwyr a syrthiasant gyd ag ef.

Wedi darfod hyn, Joab a ddanfonodd negeseuwyr at y brenin, gan orchymmyn iddynt fynegi ei fod ef wedi gwneud yr hyn a allasai i gymmeryd y ddinas yn ebrwydd; ond, fel ag yr oeddynt hwy yn ymosod ar y mur, gorfod o honynt gilio gyd â cholled fawr. Ac a barodd iddynt os gwelent y brenin yn ddig o'i herwydd, chwanegu ddarfod lladd Urïah. Wedi i'r brenin wybod hyn gan y negeseuwyr, efe a ddywedodd, "Ddarfod iddynt wneuthur yn feius wrth ymosod ar y mur, pan ddylasent trwy gloddio dan y sylfeini, a medrusrwydd rhyfelgar arall, ymdrechu i gymmeryd y ddinas; yn enwedig gan fod ganddynt o flaen eu llygaid siampl † Abimelech, mab Gideon, yr hwn a fynnai gymmeryd y tŵr yn Thebez trwy drais, ond a laddwyd â maen a fwriwyd ar ei ben ef gan wraig oedrannus; ac er ei fod yn wr o ddewrder mawr, efe a fu farw yn waradwyddus trwy ddull peryglus o ruthrad; y dylasant hwy gofio y ddamwain hon, a pheidio neshau at fur y gelyn; ac mai 'r ffordd oreu i wneud rhyfel gyd â llwyddiant ydoedd, galw i gof y damweiniau mewn rhyfeloedd gynt, a pha lwyddiant da neu odrwg a gafwyd yn y cyffelyb amgylchiadau peryglus, fel y gallent ddilyn y naill, a gochelyd y llall." Ond pan oedd y brenin o'r dymmer hon, y negeseuwyr a ddywedasant iddo ddarfod lladd Urïah hefyd; ar yr hyn efe a lonyddwyd. Felly efe a barodd i'r negeseuwyr fyned yn ol at Joab, a dywedyd wrtho nad oedd yr anhap hwn ond peth cyffredin ym mysg dynolryw, ac mai 'r cyfryw oedd natur, a'r fath ydoedd damweiniau rhyfel: bod y gelyn weithiau yn cael llwyddiant, ac eraill yn llwyddo drachefn: ond efe a orchymmynodd iddo fyned ym mlaen drachefn yn ei orchwyl ynghylch yr ymgyrch, fel na byddai i ddrwg ddamwain ei orddiwes rhagllaw; ar fod iddynt gyfodi gwrth-gloddiau, ac arferyd peiriannau wrth warchae ar y ddinas; a phan ynillent hi, fod iddynt ddadymchwel ei sylfeini, a difetha ei holl drigolion. Yn ganlynol, y negeseuwyr a ddygasant gyd â hwynt y gennadwri a roddwyd tan eu gofal, ac a brysurasant at Joab. Bathsheba, gwraig Urïah, pan glybu am farwolaeth ei gwr, a alarodd am dano lawer o ddyddiau. Ond wedi i'w galar fyned drosodd, a'r dagrau a dywalltodd am Urïah gael eu sychu i fynu, y brenin a'i cymmerodd iddo yn wraig, a ganwyd mab iddo o honi hi.

Ni ryngwyd bodd Duw wrth y briodas hon, ond yr oedd efe yn ddigllon tu ag at Ddafydd. Ac efe a ymddangosodd i Nathan y prophwyd mewn breuddwyd, gan achwyn ar y brenin. Yn awr, Nathan oedd wr doeth a phwyllog; a chan ystyried fod brenhinoedd pan syrthiont i nwydau, yn cael eu harwain yn fwy gan hynny na chyfiawnder, efe a fwriadodd gadw yn guddiedig y bygythion oedd ganddo oddiwrth Dduw, ac a ymadroddodd gyd ag arafwch wrtho, a hynny yn y dull a ganlyn, ‡ gan ddymuno i'r brenin ddangos ei farn iddo ar yr achos canlynol:—"Yr oedd," eb efe, "ddau wr yn preswylio yn yr un ddinas; un o honynt yn gyfoethog, a'r llall yn dlawd; gan y gwr cyfoethog yr oedd minteioedd aml o wartheg, a diadellau defaid; ond gan y gwr tlawd nid oedd ond un oenig fechan; hon a fagodd ac ac feithrinodd gyd â'i blant; ei bwyd a fwyttäai gyd â hwynt; ac yr oedd ganddo yr un serch naturiol tu ag atti, ag a allai fod gan un tu ag at ei ferch. Yn awr, wedi dyfod ymdeithydd at y gwr cyfoethog, ni fynnai ladd un o'i braidd ei hun, ond efe a gyrchodd oenig y gwr tlawd, ac a'i cymmerodd ymaith oddiwrtho, ac a'i parottôdd yn fwyd, ac

* 2 Sam. xi. 17. † Barn. ix. 55—65. ‡ 2 Sam. xii. 1—15.

â honno y gwleddodd yr ymdeithydd." Y traethiad yma a flinodd y brenin yn fawr; ac a barodd iddo dystiolaethu wrth Nathan, fod hwnnw yn ddyn drygionus a feiddiai wneuthur y fath beth; ac nad ydoedd ond cyfiawn iddo dalu yr oenig yn ol yn* bedwar dyblyg, a chael hefyd ei gospi â marwolaeth. Ar hyn Nathan a ddywedodd yn ebrwydd, Mai efe ei hun oedd y gwr a haeddai ddioddef y cospedigaethau hyn, yn ol ei ddedryd ei hunan: oblegid mai efe a wnaethai y weithred ddrwg ac echryslon hon. Efe hefyd a dystiolaethodd iddo anfoddlonrwydd Duw tu ag atto, yr hwn a'i gosodasai yn frenin ar luoedd yr Hebreaid, ac yn arglwydd yr holl genhedlaethau, a'r rhai hynny yn genhedlaethau mawrion ac aml o'i amgylch; yr hwn a'i hachubasai gynt o ddwylaw Saul, a rhoddi iddo y cyfryw wragedd ag a briodasai yn gyfiawn a chyfreithlon: ac yn awr y Duw hwn a ddirmygasid ganddo, ac a ddigiwyd trwy ei anwiredd; pan yn awr yr oedd wedi priodi, a meddu gwraig gwr arall; a thrwy osod ei gwr o flaen cryfdwr y gelyn, a fu 'n achos mewn gwirionedd o'i lofruddiad; y byddai i Dduw ddwyn cospedigaethau arno ar gyfrif y siamplau hyn o ddrygioni; y byddai i'w wragedd ei hun gael eu treisio gan un o'i feibion; ac y disodlid ef yn fradychlyd gan yr un mab; ac er gwneuthur o hono y ddrwg-weithred yn ddirgel, etto y byddai 'r gospedigaeth ag yr oedd efe i fyned tani gael ei dwyn arno yn gyhoeddus; ac hefyd y byddai i'r plentyn a anesid iddo o Bathsheba farw yn fuan. Wedi i'r brenin gael ei drallodi wrth y negesau hyn, a'i drwm gywilyddio, a chyffesu gyd â dagrau a thristwch ddarfod iddo bechu: (canys yr oedd efe yn ddiammau yn ddyn cyfiawn, ac heb fod yn euog o un pechod gwaradwyddus tros ei holl fywyd, oddieithr yr un yn achos Urïah,) Duw a dosturiodd wrtho, ac a gymmodwyd ag ef, ac a addawodd arbed ei fywyd, a chadw iddo ei deyrnas. Canys efe a ddywedodd, gan ei fod yn edifarhau am y peth a wnaethai, nid oedd efe ddim hwy yn ddigllon wrtho. Felly Nathan, wedi traddodi y brophwydoliaeth hon i'r brenin, a ddychweledd adref.

Pa fodd bynnag, Duw a ddanfonodd glefyd blin ar y plentyn a anesid i Ddafydd o wraig Urïah; o herwydd yr hyn y gofidiwyd y brenin, ac ni chymmerodd ddim bwyd tros saith niwrnod;† er i'w weision ei daer gymmell i'w gymmeryd; ond efe a ddilladodd ei hun â gwisg ddu, ac a syrthiodd i lawr, gan orwedd ar y ddaear mewn sachlian; gan erfyn ar Dduw am iachâu y plentyn, canys yr oedd ganddo fawr serch tu ag at ei fam. Ond pan, ar y seithfed dydd, y bu farw y plentyn, yr oedd gweision y brenin yn ofni ei fynegi iddo; gan feddwl mai pan wyddai hynny, y byddai fyth yn fwy gwrthwyneb i ymborth, ac i ofal arall am dano ei hun, oblegid ei ofid ar farwolaeth ei fab; gan, tra yr oedd y plentyn yn unig yn glaf, yr oedd efe yn trallodi ei hun mor fawr, ac yn gofidio o'i herwydd. Ond pan welodd Dafydd ei weision yn terfysgu, ac yn ymddangos fel rhai a ewyllysiant gadw peth yn guddiedig, efe a ddeallodd fod y plentyn wedi marw; ac wedi iddo alw un o'i weision atto, a gwybod ei fod felly, efe a gyfododd ac a ymolchodd ei hun, gan gymmeryd gwisg wen am dano, a myned i dabernacl Duw. Efe hefyd a orchymmynodd iddynt roddi bwyd o'i flaen; ac wrth hynny a barodd i'w berthynasau a'i weision ryfeddu, gan nad arferodd ddim o hyn tra yr oedd y plentyn yn glaf: ond a wnaeth y cwbl wedi iddo farw. Ar ba achos hwy a ddymunasant arno roddi cennad i ofyn ei reswm am yr ymddygiad hwn. Efe ar hynny a'u galwodd yn bobl anghall, ac a ddygodd ar ddeall iddynt, fod ganddo obaith am adferiad y plentyn tra bu efe byw, ac yn ganlynol a wnaethai yr hyn oll oedd gymmwys iddo ei wneuthur, gan feddwl trwy'r cyfryw foddion ynnill Duw i fod yn raslawn wrtho: ond mai wedi i'r plentyn farw, nid oedd achos gofidio mwyach, gan nad oedd wedi hynny i ddim pwrpas. Wedi iddo ddywedyd hyn, hwy a ganmolasant y brenin am ei ddoethineb a'i ddealldwriaeth. Yna efe a aeth i mewn at Bathsheba ei wraig, a hi a

* Exod. xxii. 1.

† Gwel y nod ar VI. 14.

ymddygodd, ac a esgorodd ar fab; a thrwy orchymmyn Nathan y prophwyd, galwyd ei enw ef Solomon.*

Ond Joab a wasgodd yn drwm ar yr Ammoniaid yn y gwarchae, drwy dorri ymaith eu dwfr, a'u hymddifadu o toddion eraill o gynnaliaeth; nes eu bod yn y diffyg mwyaf o fwyd a diod; canys nid oedd ganddynt ond un ffynnon fechan o ddwfr i ymddibynnu arni; ac o hon ni allent yfed yn rhy gyflawn, rhag iddi fethu yn gwbl. Felly efe a anfonodd at y brenin, ac a'i gwnaeth yn hyspys o'r unrhyw, ac a'i perswadiodd i ddyfod ei hun i gymmeryd y ddinas, fel y byddai iddo yr anrhydedd o'r fuddugoliaeth. Ar dderbyniad y llythyr hwn o eiddo Joab, y brenin a gymmeradwyodd ei ewyllys da a'i ffyddlondeb; ac efe a gymmerodd ei fyddin gyd ag ef, ac a ddaeth i fod yn bresennol yn ninystr Rabbah; ac wedi ei chymmeryd drwy drais, efe a'i rhoddes i'w filwyr i'w hanrheithio. Ond efe ei hun a gymmerodd goron brenin yr Ammoniaid, yr hon yr oedd ei phwysau yn dalent o aur;† ac yr oedd yn ei chanol faen gwerthfawr, a elwid Sardonyx; yr hon goron a wisgodd Dafydd ar ei ben fyth ar ol hynny. Efe hefyd a gafodd amryw lestri eraill yn y ddinas, a'r rhai hynny yn ddisglaer ac o werth mawr. Ond am y dynion, efe a'u poenodd,‡ ac a'u dinystrodd hwynt. Ac wedi iddo gymmeryd dinasoedd eraill yr Ammoniaid trwy drais, efe a'u triniodd yn y cyffelyb fodd.

## PENNOD VIII.

*Am dreisiad Tamar, gan ei brawd Amnon; dïal Absalom, ei alltudiad, a'i alwad yn ol gan y brenin Dafydd.*

WEDI i'r brenin ddychwelyd i Jerusalem, rhyw anhap arswydus a ddigwyddodd yn ei deulu, ar yr achos canlynol. Yr ydoedd iddo ferch a elwid Tamar, yr hon oedd etto yn wyryf, ac yn hardd yn ei hymddygiad, yn gymmaint a'i bod yn rhagori ar y merched mwyaf eu glendid. Yr ydoedd hi o'r un fam ag Absalom. Yn awr, Amnon mab hynaf Dafydd a syrthiodd mewn serch â hi; a chan na allai gael ei ddymuniad, ar gyfrif y cadwedigaeth yr ydoedd hi tano, ei ofid a effeithiodd gymmaint arno, a bod ei gnawd yn curio, a'i liw yn cyfnewid. Yn awr, yr ydoedd un Jonadab, yr hwn oedd gâr a chyfaill iddo, yr hwn a ddeallodd ei glefyd; canys yr ydoedd yn wr rhagorol ddoeth, ac ehang ei ddealldwriaeth. Pan welodd, gan hynny, bob bore, nad oedd Amnon mewn hwyl corphorol megis y dylasai fod, efe a ddaeth atto ac a ddymunodd arno ddywedyd iddo am yr achos o hono: pa fodd bynnag efe a ddywedodd, ei fod yn ei ddyfalu megis peth yn tarddu oddiwrth nwyfiant naturiol. Amnon a gyfaddefodd ei fod mewn cariad â chwaer iddo, yr hon oedd a'r un tad iddi ag efe ei hun. Felly Jonadab a ddangosodd iddo trwy ba fodd y deuai i gael ei ddymuniad. Canys efe a'i perswadiodd ef i gymmeryd arno fod yn glaf; a phan ddeuai ei dad atto, i ddeisyfu arno adael i'w chwaer ddyfod i weini iddo; canys os gwnai, fe fyddai i hynny ei wella ef, a'i iachâu yn fuan o'i anhwyldeb. Felly Amnon a orweddodd i lawr ar ei wely, gan gymmeryd arno fod yn glaf, fel yr addysgasid ef gan Jonadab. Ac wedi i'w dad ddyfod a gofyn pa fodd yr ydoedd, efe a ddeisyfodd arno anfon ei chwaer atto ef. Yn ganlynol efe a orchymmynodd yn ebrwydd iddi ddyfod atto ef: ac wedi ei dwyn i'w ystafell, Amnon a barodd iddi wneuthur teisennau iddo ef, eu crasu mewn padell, a'u gwneuthur oll â'i llaw ei hun, oblegid y byddai iddo eu cymmeryd yn

* 2 Sam. xii. 24.

† Talent o aur ydoedd ynghylch saith o bwysau. Ac ni allai Josephus ei phrisio yn uwch, gan ei fod yma yn dywedyd, fod Dafydd yn ei gwisgo ar ei ben yn wastadol.

‡ Pa un a welodd Josephus ymadrodd ein copiau eraill, 2 Sam. xii. 31. a'r 1 Cron. xx. 3. ddarfod i Dafydd roddi trigolion, neu yr hyn lleiaf amddiffynwyr Rabbah, a dinasoedd eraill yr Ammoniaid, y rhai a warchaeodd arnynt ag a gymmerodd, o dan, neu dorri o hono hwynt â llifiau; a than, neu gyd ag, ogau heiyrn; a than, neu â bwyill o heiyrn; a gwneuthur iddynt fyned trwy odynau pridd feini, yr hyn nid yw yma yn cael ei adrodd. Os gwelodd efe hwynt, yr hyn sydd dra thebygol, yr ydoedd yn sicr yn eu hesponio hwynt am boeni 'r Ammoniaid hyn hyd farwolaeth, y rhai etto nid oeddynt yn un o saith genhedlaethau Canaan, y rhai oedd â'u drygioni wedi eu hanghymmwyso i drugaredd. Pe amgen fe'm tueddid i feddwl mai 'r ystyr, o'r hyn lleiaf wrth fel y mae 'r geiriau yn Samuel, a allai fod yn unig hyn, eu gosod hwynt yn y radd isaf o lafurwaith, megis llifio prennau neu gerrig; llyfnu maesydd ag ogau; torri coed i lawr; gwneuthur a llosgi pridd-feini, a'r cyffelyb wasanaeth caled, ond heb gymmeryd ymaith eu heinioes. Nid ydym mewn un man arall ag wyf fi yn ei gofio yn cyfarfod â'r fath arferiad o greulondeb yn rhoddi dynion i farwolaeth trwy 'r holl Fibl, neu yn un hanes hynafiaethol arall. Ac nid yw'r geiriau yn Samuel yn ymddangos fel yn golygu y cyfryw beth.

well ganddi hi, na chan neb arall. Felly hi a dylinodd y toes yngolwg ei brawd, gan ei wneud yn deisennau, wedi eu crasu mewn padell, ac a'u dygodd atto ef. Ond ni phrofai hwynt yr amser hwnnw, eithr a orchymmynodd i'w weision yrru y rhai oll oedd yn yr ystafell allan, o herwydd ei fod â dymuniad i orphwyso ei hun, yn rhydd oddiwrth bob trwst ac aflonyddwch. Cyn gynted ag y gwnaethpwyd megis y gorchymmynodd, efe a ddymunodd i'w chwaer ddwyn ei swpper atto ef i'r ystafell nesaf i mewn; yr hyn wedi i'r llangces ei wneuthur, efe a gymmerodd afael ynddi, ac a ymdrechodd ei pherswadio i orwedd gyd ag ef. Ar hyn y llangces a lefodd allan, ac a ddywedodd, "Nag ê, fy mrawd, na threisia mo honof, ac na fydd mor annuwiol a throseddu yn erbyn y cyfreithiau, a dwyn arnat dy hun y gwaradwydd mwyaf. Attal dy chwant anghyfiawn a halogedig, oddi wrth ba un ni ynnill ein teulu ond gwarth a gwaradwydd." Cynghorodd ef hefyd i lefaru wrth ei thad ar yr achos hwn, gan y byddai iddo, ysgatfydd, ei phriodi ag ef. Hyn a ddywedodd i'r diben i ochelyd trais eu brawd yn bresennol. Ond ni fynnai efe wrando arni; ond, â'i chwant wedi ennyn, a'i ddallu â thanbeidrwydd ei nwyfiant, efe a'i treisiodd hi. Ond cyn gynted ag y cafodd Amnon gyflawni ei ddymuniadau, efe a gasäodd y gwrthddrych o honynt; gan ddywedyd geiriau chwerwon wrthi, a pheri iddi fyned ymaith. A phan ddywedodd hithau fod hon yn driniaeth galettach na'r gyntaf, o herwydd wedi darfod iddo yn awr ei threisio, ni adawai iddi aros yn y tŷ hyd yr hwyr, ond peri iddi fyned ymaith yn y dydd, pan oedd yn oleu, fel y cyfarfyddai â phobl a fyddai yn dystion o'i chywilydd; eithr efe a orchymmynodd i'w was ei throi allan o'i dŷ. Wrth hyn yr oedd hi yn dra gofidus oblegid y niweid a'r cam-driniaeth a gawsai hi. A hi a rwygodd ei rhydd-wisg, (canys y morwynion yn yr hen amserau a wisgent hugan, yr hon a glymmid wrth eu dyrnau, ac a gyrhaeddai i lawr hyd y migyrnau, fel na chanfyddid yr is-wisgoedd;) a hi a daenellodd ludw ar ei phen; ac a aeth i fynu trwy ganol y ddinas, gan lefain allan, ac wylofain o herwydd y cam a gawsai. Yn awr, Absalom ei brawd a ddigwyddodd gyfarfod a hi; ac a ofynodd, pa ryw niweid a'i goddiweddasai hi pan ydoedd y fath agwedd arni? Ac wedi mynegi o honi iddo, efe a'i cyssurodd, gan ddymuno arni ymlonyddu, a'i gymmeryd yn amyneddgar, a pheidio cyfrif yn niweidiol ddarfod ei halogi gan ei brawd. Felly hi ymroddodd i'w gyngor ef, ac a adawodd heibio lefain allan, a datguddio 'r trais a wnaethid a hi i'r lliaws. A hi a barhaodd megis gweddw * gyd a'i brawd Absalom tros hir amser.

Pan wybu Dafydd am hyn, efe a fawr ofidiodd am weithredoedd Amnon. Ond oblegid fod ganddo serch mor fawr tu ag atto, canys ei fab hynaf ydoedd, efe a gymmellwyd i beidio a'i gospi ef. Ond Absalom a wyliodd am gyfleustra i ddial ei gamwedd, canys yr ydoedd yn ei hollol gasâu ef. Yn awr, yr ail flwyddyn ar ol i'r weithred annuwiol hon fyned trosodd, a phan oedd Absalom ynghylch myned i gneifio ei ddefaid yn Baalhasor, dinas yn rhandir Ephraim, efe a wahoddodd ei dad, yn gystal a'i frodyr, i ddyfod i wledda gyd ag ef. Ond wedi i Ddafydd esgusodi ei hun, heb ewyllysio ei feichio ef, Absalom a ddymunodd arno pa fodd bynnag, anfon o hono ei frodyr, y rhai yn ganlynol a ddaethant. Yna Absalom a orchymmynodd i'w weision, pan welent Amnon mewn annhrefn a syrthni gan win, wedi 'r arwydd a roddai efe, nad ofnent neb, ond bod iddynt ladd Amnon.

Wedi iddynt wneuthur megis eu gorchymmynasid, ei frodyr eraill a frawychwyd, ac a ofnasant am danynt eu hunain. Felly hwy yn union gyrch a gymmerasant eu meirch, ac a ddychwelasant at eu tad. † Ond rhyw un a'u rhagflaenodd, ac a ddywedasai i'w tad, eu lladd hwynt oll gan Absalom. Ar yr hyn y gorchfygwyd ef gan dristwch, megis am gynnifer o feibion wedi eu difetha ar unwaith; a thrwy 'r ystyriaeth yma, ei fod yn ymddangos mai eu brawd eu hunain a'u lladdasai; hyn a chwaneg-

* 2 Sam. xiii. 20.

† 2 Sam. xiii. 29.

odd ei ofid o'u herwydd. Felly nid ymofynnodd am yr achos o'u llofruddiad, ac ni arosodd i wrando dim yn rhagor, yr hyn nid oedd ond rhesymmol etto iddo wneuthur, gan fod cyflafan mor drom ac erchyll yn cael adrodd am dani iddo. Efe a rwygodd ei ddillad, ac a fwriodd ei hun ar y ddaear, ac yno y gorweddodd yn galaru am y golled o'i holl feibion; sef y rhai, fel yr hyspyswyd iddo, a laddwyd, a'r hwn hefyd a'u lladdasai. Ond Jonadab, mab ei frawd Shimeah, a erfyniodd arno, na roddai le i gymmaint o brudd-der; canys am y lleill o'i feibion ni chredai efe eu lladd hwynt; canys ni wyddai efe am un achos o'r fath ddychymmyg. Ond efe a ddywedodd y gellid gwneud ymofyniad mewn perthynas i Amnon. Canys nid ydoedd annhebyg i Absalom ei ladd ef, ar gyfrif y cam a wnaethai â'i chwaer Tamar. Yn y cyfamser rhyw drwst mawr gan feirch, a a therfysg gan ryw bobl, a barodd eu sulw hwynt. Hyn ydoedd ddyfodiad meibion y brenin, wedi ffoi ymaith o'r wledd. Felly eu tad a gyfarfu â hwynt, fel yr oeddynt yn eu galar, ac yntau hefyd yn galarū gyd â hwynt. Ond yr oedd yn beth mwy nag a ddisgwyliodd weled y meibion hyn drachefn, y rhai a glywsai mor ddiweddar am danynt eu bod wedi eu difetha. Pa fodd bynnag, yr oedd dagrau a gruddfanau ar bob ochr; hwynt-hwy yn galaru am eu brawd a laddesid, a'r brenin yn wylo am ei fab a laddwyd hefyd: ond Absalom a ffodd i Geshur, at ei daid* o du ei fam, yr hwn oedd frenin y wlad honno, ac a arosodd gyd ag ef gyflawn dair blynedd.

Yn awr, yr ydoedd bwriad gan Ddafydd i ddanfon at Absalom;† nid am iddo ddyfod i gael ei gospi, ond fel y byddai gyd ag ef. Canys effeithiau ei ddigder ydoedd wedi cilio gyd â hyd amser. Joab, blaenor ei lu, yn bennaf, a'i perswadiodd i hynny. Canys efe a gyflogodd wraig oedrannus, megis gau gennad, i fyned at y brenin, mewn galar-wisg; i ddywedyd wrtho, Fod dau o'i meibion wedi ymrafaelio, ac wrth fyned ym mlaen yn eu hymryson, daethant i wrthwynebiad cyhoeddus; a bod un wedi cael ei daraw gan y llall fel y bu farw; a hi a ddymunodd arno gyfryngu yn yr achos hwn, ac achub ei mab hwn o ddwylaw ei garennydd, y rhai oeddynt dra thanbaid am roddi yr hwn a laddasai ei frawd i farwolaeth; fel na byddai iddi ymhellach gael ei hymddifadu o'r gobaith oedd ganddi am un i ofalu drosti yn ei henaint: ac os byddai iddo ef ymostwng i ragflaenu dinystr ei mab hwn,gan y rhai a ewyllysient hynny, y byddai iddo wneuthur ffafr fawr â hi: o herwydd na fynnai 'r carennydd eu lluddias yn eu hamcan trwy un peth arall ond gan ei ofn ef. Ac wedi i'r brenin roddi ei gydsyniad i'r hyn a ddeisyfodd y wraig ganddo, hi a wnaeth yr attebiad hwn, "Yr wyf tan ddyled i ddiolch am dy hynawsedd yn tosturio wrth fy oedran, ac yn rhagflaenu fy ngholled o fy unig blentyn sydd yn aros yn awr gennyf. Ond mewn trefn i'm sicrhau o'th gymmwynasgarwch hyn, cymmoder di yn gyntaf â'th fab dy hun, a gad heibio dy ddigder tu ag atto ef. Canys pa fodd y gallaf berswadio fy hun dy fod wedi caniattau y ffafr hon yn wirioneddol i mi, pan ydwyt ti dy hun yn parhau yn y cyffelyb fodd mewn digder tu ag at dy fab dy hunan. Canys peth ynfyd yw chwanegu yn wirfoddol un arall at dy fab marw, tra y darfu i farwolaeth y llall gael ei ddwyn o amgylch heb dy gydsyniad di." Y brenin a ddeallodd yn awr am yr hanes ffugiol hwn, mai o ddyfais Joab yr oedd ei gwneuthuriad; a phan, wedi ymofyn â'r wraig oedrannus, a chanfod mai felly mewn gwirionedd yr ydoedd, efe a alwodd am Joab, ac a ddywedodd wrtho, iddo feddiannu yr hyn a ofynnodd, yn ol ei feddwl ei hun; ac efe a archodd iddo ddwyn Absalom yn ol;‡ am nad ydoedd yn awr yn anfoddlon, ond fod ei ddigder wedi peidio eisoes tu ag atto. Felly Joab a ymgrymmodd i'r brenin hyd lawr, ac a aeth yn union-gyrch i Geshur, ac a ddug Absalom gyd ag ef i Jerusalem.

Pa fodd bynnag, y brenin a ddanfonodd neges at ei fab, ym mlaen llaw, yn ei ddychweliad, gan orchymmyn iddo aros yn ei dŷ ei hun, am nad oedd efe etto mewn tymmer i dybied yn gymmwys ei dderbyn ef. Yn ganlynol wrth

* 2 Sam. iii. 3. † Ynghylch Bl. 1068, c. c.

‡ 2 Sam. xiv. 21.

orchymmyn y tad, efe a ymgadwodd rhag dyfod i'w bresennoldeb ef; gan foddloni ei hun ar y parchedigaeth a roddid iddo gan ei deulu ei hun yn unig. Yn awr ni anffurfiasid ei degwch gan y gofid a fuasai dano, neu ddiffyg y cyfryw driniaeth ac ymgeledd ag oedd weddus i fab brenin: canys yr oedd efe etto yn rhagori ar bawb mewn uchder a maintioli; ac yr oedd yn fwy hynod mewn ymddangosiad bardd, na 'r rhai oedd yn bywiolaethu yn fwyaf helaethlawn. Ac yn wir y cyfryw oedd trwch gwallt ei ben, fel gyd ag anhawsdra y cneifid ef bob wyth niwrnod, a'i wallt a bwysai * ddau cant o siclau, yr hyn yw pum pwys. Pa fodd bynnag, efe a fu byw yn Jerusalem ddwy flynedd, ac a ddaeth yn dad i dri o feibion, ac un ferch, deg yr olwg; yr hon, yn ol hynny, a gymmerodd Rehoboam † mab Solomon, yn wraig iddo, a bu iddo fab o honi a elwid Abij h. Ond Absalom a anfonodd at Joab, gan ddymuno arno heddychu ei dad tu ag atto ef; ac attolygu arno roddi iddo gennad i ddyfod i'w weled ac ymddiddan ag ef. Ond wedi i Joab esgeuluso gwneuthur felly; efe a ddanfonodd rai o'i weision ei hun i ddodi 'r maes ag oedd yn cydio â'i dŷ ar dân; yr hyn beth pan ddeallodd Joab, efe a ddaeth at Absalom, gan ei gyhuddo o'r hyn a wnaethai, ac a ofynodd iddo y rheswm o hono? Absalom a attebodd, "Mi a gefais allan y ddyfais hon i fod yn foddion i'th ddwyn attaf, pan na chymmeraist ddim gofal i gyflawni 'r gorchymmyn a osodais arnat, yr hyn oedd cymmodi fy nhad â mi. Ac yn wir yr wyf yn deisyf hyn gennyt yn awr tra 'r wyt yma, sef heddychu fy nhad tu ag attaf fi: gan fy mod yn cyfrif fy nyfodiad yma yn fwy o flinder na 'm halltudiaeth, tra mae digofaint fy nhad yn parhau tu ag attaf." Joab wrth hyn a berswadiwyd, ac a dosturiodd wrth y blinder yr oedd Absalom ynddo; ac a ddaeth yn eiriolwr drosto at y brenin. Ac wedi ymddiddan o hono â'i dad, efe yn fuan a ddygwyd i'r fath duedd garedig tu ag at Absalom, fel yr anfonodd i'w gyrchu atto ef. Ac wedi iddo ei daflu ei hun ar y llawr, gan erfyn maddeuant am ei droseddiadau, y brenin a'i cyfododd i fynu, ac a addawodd anghofio yr hyn a wnaethai gynt. ‡

## PENNOD IX.

*Am Derfysgiad Absalom yn erbyn ei dad Dafydd, a Marwolaeth Ahithophel.*

YN awr, Absalom wedi llwyddo fel hyn gyd â'r brenin, a ynnillodd iddo ei hun lawer o feirch a cherbydau, a hynny mewn byrr amser. Yr oedd ganddo hefyd ddeg a deugain o gludwyr-arfau o'i amgylch; ac efe a ddaeth bob dydd yn foreol i lŷs y brenin, ac a lefarodd yr hyn oedd gymmeradwy gan y rhai a ddeuent yno am farn cyfiawnder, ac a gollasent eu hachosion, fel pe digwyddasai hynny o ddiffyg cynghorwyr addas gyd â'r brenin; neu ysgatfydd o herwydd camsyniad o'r barnwyr yn y ddedryd anghyfiawn a roddasent. Trwy hyn fe ynnillodd ewyllys da pawb o'r werin. Dywedodd wrthynt, pe byddai 'r fath awdurdod wedi ei roddi iddo ef, y rhennid cyfiawnder iddynt ganddo yn y modd mwyaf uniawn. Wedi gwneuthur o hono ei hun mor boblogaidd ym mhlith y lliaws, meddyliodd fod ganddo eisoes ewyllys da y bobl wedi ei sicrhau iddo. Ond wedi i bedair § blynedd fyned heibio yn ol cymmodi â'i dad, efe a ddaeth atto ef, ‖ ac a ofynodd gennad ganddo i fyned i Hebron i aberthu i Dduw, o herwydd addunedu o hynny ganddo wrth ffoi o'r wlad. Felly wedi i Ddafydd ganiattâu ei ddymuniad, efe a aeth yno; a lliaws mawr a ddaethant yn

* Am y pwysau hyn o wallt Absalom, pa fodd mewn ugain neu ddeg ar hugain mlynedd y gallai gyrhaeddyd i ddau cant o siclau, neu ryw faint uwchlaw chwe phwys avoirdupois, gwel Gyflawniad Llythyrennol y Prophwydoliaethau, t. d. 77, 78. Ond diweddar awdwr tra uniawnfarn a ddywed, fod y Septuagint yn meddwl mai nid ei bwysau, ond ei werth ydoedd ddau cant o siclau. Dr. Wall yn ei fanol nodau ar yr Hen Destament, ar 2 Sam. xiv. 26. Nid yw yn ymddangos pa beth oedd tyb Josephus. Y mae'n gosod y testyn i lawr yn gywir, megis y cafodd ef yn ei gopiau. Yn unig efe a feddyliodd mai ar ddiwedd dyddiau pan dorrai a phan bwysai Absalom ei wallt, ydoedd un waith yn yr wythnos.

† 2 Cron. xi. 20. ‡ 2 Sam. xiv. 33.

§ Dyma un o'r diwygiadau goreu y mae copi Josephus yn ei ganiattau i ni, am destyn ag y mae ein copiau cyffredin yn dra amherffaith ynddo. Dywedant hwy i'r gwrthryfel yma o eiddo Absalom ddigwydd ddeugain mlynedd ar ol yr hyn a aethai o'r blaen; ei gymmodiad a'i dad: pan y dengys rhestr o hanesion na's gallai fod yn rhagor na phedair blynedd yn ol hynny, megis yma yn Josephus; nifer yr hwn a gaiff ei arnheir yn uniawn gan y copi hwnnw o gyfieithiad y Septuagint, o ba un y gwnaethpwyd y cyfieithiad Armeniaidd, yr hwn sy'n dodi i ni yr un nifer bychan o bedair blynedd. Dr. Wall hefyd sydd yn nodi, fod gan bedwar o'r cyfieithiadau Lladin o'r Bibl, yr un rhifedi. Yr hyn yn wir a ddylai, heb ddim dadl, gael ei gyfrif yn gywir ddarlleniad.

‖ Ynghylch Bl. 1064.

cydredeg atto ef; canys efe a anfonasai at liaws mawr i wneuthur felly.

Yn eu plith hwynt y daeth Ahithophel, y Giloniad, cynghorwr Dafydd, a dau cant o wŷr o Jerusalem, y rhai na wyddent am ei fwriadau; ond a anfonasid am danynt i'r aberth. Felly efe a gyhoeddwyd yn frenin ganddynt oll; yr hyn a ennillodd trwy ddichell. Mor gynted ag y dygwyd newyddion o hyn at Ddafydd, ac yr hyspyswyd ef o'r hyn ni ddisgwyliodd oddiwrth ei fab; efe a ddychrynwyd wrth yr anturiaeth ryfygus a drygionus yma; gan ryfeddu ei fod mor bell oddiwrth gofio y modd y maddeuwyd yn ddiweddar ei drosedd, a chymmeryd arno orchwyl gwaeth a mwy niweidiol: yn gyntaf, i'w ymddifadu ef o'r deyrnas a drefnodd Duw iddo; ac yn ail, dwyn oddi arno fywyd ei dad ei hun. Efe, gan hynny, a ymroddodd i ffoi i'r parthau tu hwnt i'r Iorddonen.

Felly efe a alwodd ei gyfeillion agosaf ynghyd, ac a amlygodd iddynt yr hyn oll a glywsai ymherthynas i wallgofrwydd ei fab. Yna efe a orchymmynodd ei hun i Dduw, am farnu o hono rhyngddynt, ymherthynas i'w hymddygiadau; ac efe a adawodd ofal ei dŷ brenhinol i'w ddeg gordderch-wragedd, ac a aeth ymaith o Jerusalem; a gweddill y lliaws yn ewyllysgar yn brysio i fyned gyd ag ef; ac yn enwedig y chwe chan gwŷr arfog, y rhai a fuasant gyd ag ef er ei ffoedigaeth cyntaf yn nyddiau Saul. Ond efe a berswadiodd Abiathar a Sadoc yr archoffeiriaid, y rhai a benderfynasent fyned gyd ag ef; megis hefyd y Lefiaid, y rhai oeddynt gyd â'r arch, i sefyll yn ol; megis yn gobeithio y byddai i Dduw ei waredu heb ei symmudiad; ond efe a archodd iddynt adael iddo wybod yn ddirgel y modd y byddai pob peth yn myned ym mlaen. Ac yr oedd ganddo eu meibion, Ahimaaz, mab Sadoc; a Jonathan, mab Abiathar, yn weinyddwyr ffyddlon ym mhob peth. Ond Ittai, y Gittiad, a aeth ymaith gyd ag ef, pa un a wnai Dafydd a'i boddloni neu beidio iddo: canys efe a fynnai ei berswadio i aros; ac ar gyfrif hynny efe a ymddangosai yn fwy cyfeillgar iddo: ond fel yr oedd yn esgyn mynydd yr Olewydd yn droednoeth, a'i holl gwmpeini mewn dagrau, mynegwyd iddo fod Ahithophel gyd ag Absalom. Y newydd hwn a chwanegodd ei ofid; ac efe a erfyniodd yn daer ar Dduw i ddieithro meddwl Absalom oddiwrth Ahithophel; canys yr ydoedd yn ofni rhag iddo ei berswadio i ddilyn ei gynghorion dinystriol ef; o herwydd yr oedd efe yn wr call, ac yn dra chyflym ei ddeall ynghylch yr hyn a fyddai yn fanteisiol. Wedi i Ddafydd esgyn i ben y mynydd efe a gymmerodd olwg ar y ddinas, ac a weddiodd ar Dduw gyd â llawer o ddagrau; megis pe buasai yn barod wedi colli 'r deyrnas. Ac yma yr oedd ddarfod i gyfaill iddo a elwid Hushai, ei gyfarfod. Pan ganfu Dafydd ef a'i ddillad wedi eu rhwygo, a chyd â lludw ar ei holl ben, ac mewn galar o herwydd y cyfnewidiad yn amgylchiad y deyrnas; efe a'i cyssurodd, ac a'i hannogodd i adael heibio ei ofidiau. Ië, yn y diwedd efe a'i perswadiodd i fyned yn ol at Absalom, ac ymddangos fel un o'i ddeiliaid ef; gan ymdrechu i wybod bwriadau dirgelaf ei feddwl, ac i wrthwynebu cynghorion Ahithophel: oblegid na 's gallai wneuthur cymmaint o leshad iddo trwy fod gyd ag ef, ag a wnai trwy fod yn bresennol gyd ag Absalom. Felly fe lwyddwyd gyd ag ef gan Ddafydd i ddychwelyd, ac efe a'i gadawodd ac a ddychwelodd i Jerusalem; i ba le y daeth Absalom ei hun hefyd yn fuan ar ol hynny.*

Wedi i Ddafydd fyned ychydig ymhellach, Ziba, gwas Mephiboseth a'i cyfarfu ef, (yr hwn a ddanfonasai'r brenin i ofalu dros ei etifeddiaethau, fel mab Jonathan, mab Saul;) gyd â phâr o asynod, yn llwythog o ymborth; gan ddymuno arno ef gymmeryd cymmaint ag yr oedd ef a'i ganlynwyr yn sefyll mewn diffyg o hono. A phan ofynodd y brenin iddo ym mha le y gadawsai Mephibosheth, dywedodd adael o hono ef yn Jerusalem, yn disgwyl cael ei ddewis yn frenin yn y terfysg presennol, trwy goffadwriaeth o'r rhoddion a gyfrannasai Saul iddynt. Wrth hyn yr ydoedd y brenin yn dra digllon, ac a roddodd i Ziba yr hyn oll a gyfrannasai i Mephibosheth. Canys efe a benderfynodd fod yn llawer cymhwysach iddo ef eu cael na'r

* 2 Sam. xv. 37.

llall. Wrth hyn y llawenhaodd Ziba yn fawr.

Pan oedd Dafydd mewn lle a elwid Bahurim, daeth allan un o garennydd Saul, enw yr hwn oedd Shimei, gan daflu cerrig atto, a dywedyd geiriau gwaradwyddus wrtho; ac fel yr oedd ei gyfeillion yn sefyll o amgylch y brenin, ac yn ei amddiffyn, efe a barhaodd fyth fwyfwy yn ei waradwyddiadau, gan ei alw yn "wr gwaedlyd, ac yn awdwr pob math o ddrygau." Parodd iddo fyned allan o'r tir, fel adyn melldigedig a ffiaidd; ac yr oedd efe yn diolch i Dduw am ei ddifeddiannu o'i deyrnas, ac am beri iddo gael ei gospi am y niweid a wnaethai i'w feistr Saul, a hyn trwy 'r moddion o'i fab ei hun. Yn awr, a hwy oll yn flin o'i herwydd, ac yn ddig wrtho, yn enwedig Abishai, yr hwn a fynnai ladd Shimei; Dafydd a attaliodd ei ddigter. "Na ddygwn arnom," eb efe, "ddrwg arall, at yr hyn eisoes a'n goddiweddodd; canys, mewn gwirionedd, nid wyf yn cymmeryd y braw lleiaf oddiwrth y ci hwn ag sydd yn ymgynddeiriogi yn fy erbyn; yr wyf yn ymostwng fy hun i Dduw, trwy gennad pa un y mae 'r dyn hwn yn fy nhrin mewn dull mor nawswyllt. Ac nid yw ddim rhyfeddod i mi orfod myned tan ddirmyg oddiwrtho ef, tra 'r wyf yn brofiadol o'r cyffelyb driniaeth gan fy mab annuwiol fy hun. Ond ysgatfydd y bydd i Dduw drefnu rhyw ymwared i ni, os ei ewyllys yw eu gorchfygu hwynt." Felly efe a aeth rhagddo yn ei ffordd, heb flino ei hun o blegid Shimei, yr hwn a redai ym mlaen yr ochr arall i'r mynydd, ac a fytheiriau allan ei iaith ddirmygus yn helaethlawn. Ond pan ddaeth Dafydd at yr Iorddonen, efe a adawodd i'r rhai oedd gyd ag ef orphwys eu hunain, canys yr oeddynt yn flinedig.

Wedi i Absalom, ac Ahithophel ei gynghorwr ddyfod i Jerusalem, gyd â'r holl bobl, Hushai, cyfaill Dafydd a ddaeth yn eu mysg hwynt. Ac wedi iddo ddangos ei anrhydedd i Absalom, dymunodd y byddai i'w deyrnas sefyll tros hir amser, a pharhau o'r naill genedl i'r llall: ond wedi dywedyd o Absalom wrtho, "Pa fodd y daeth hyn, fod yr hwn a ymddangosai yn gyfaill mor agos i'm tad, ac ym mhob peth yn ffyddlon iddo, ac heb fod yn awr gyd ag ef, ond gwedi ei adael, a dyfod trosodd attaf fi?" Atteb Hushai ydoedd dra synhwyrgall; canys efe a ddywedodd, "Nyni a ddylem ddilyn Duw, a lliaws y bobl; tra mae y rhai hyn, gan hynny, fy arglwydd a'm meistr, gyd â thi, y mae 'n gymmwys i minnau eu dilyn hwynt. Canys tydi a dderbyniaist y deyrnas oddiwrth Dduw. Myfi, gan hynny, os credi fy mod yn gyfaill i ti, a ddangosaf yr un ffyddlondeb a charedigrwydd i ti, ag a wyddost im' ei ddangos i'th dad o'r blaen.* Ac nid oes un rheswm yn yr hyn lleiaf i anfoddloni wrth amgylchiad presennol yr achos cyffredin: canys nid yw 'r deyrnas wedi ei symmud, ond yn aros fyth yn yr un teulu, trwy fod y mab yn ei derbyn ar ol ei dad." Yr ymadrodd yma a berswadiodd Absalom, yr hwn o'r blaen a ddrwg-dybiodd am Hushai. Ac yn awr efe a alwodd Ahithophel, ac a ymgynghorodd ag ef ynghylch yr hyn a ddylai wneuthur. Efe a'i perswadiodd i fyned i mewn at ordderch-wragedd ei dad; canys efe a ddywedodd, "Wrth y weithred hon y bobl a gredant fod dy amrafael â'th dad yn anghymmodlon; ac yna hwy a ymladdant gyd â bywiogrwydd mawr yn erbyn dy dad: canys hyd yma y maent yn ofni dangos gelyniaeth cyhoeddus yn ei erbyn, oddiar ddisgwyliad y cymmodir chwi drachefn." Yn ganlynol, Absalom a ynnillwyd â'r cyngor hwn, ac a orchymmynodd ei weision i daenu pabell ar nen y brenhindy yngolwg y lliaws, ac efe a aeth i mewn ac a orweddodd gyd â gordderch-wragedd ei dad. Yn awr, hyn a ddaeth o amgylch yn gyfattebol i ragfynegiad† Nathan, pan brophwydodd ac yr arwyddodd i Ddafydd, y cyfodai ei fab i fynu mewn gwrthryfel yn ei erbyn ef.

Ac wedi i Absalom gyflawni yr hyn a'i cynghorwyd i'w wneuthur gan Ahithophel, efe a ddymunodd ei gyngor ymherthynas i'r rhyfel yn erbyn ei dad. Yn awr, Ahithophel a ofynodd ganddo yn unig ddeng mil o wŷr dewisol; ac efe a addawodd y lleddid ei dad, ac y dygai efe y milwyr yn ol drachefn mewn diogelwch:

* 2 Sam. xvi. 10.

† 2 Sam. xii. 11.

ac efe a ddywedodd y cadarnheid y deyrnas yn ol hynny iddo ef, pan fyddai farw Dafydd, ac nid cyn hynny. Absalom a foddlonwyd â'r cyngor hwn, ac a alwodd am Hushai, cyfaill Dafydd, (canys felly y galwai ef;) a chan ei wneud yn hyspys o gyngor Ahithophel, efe a ofynodd ymhellach beth oedd ei gynghor ef mewn perthynas i'r achos hwnnw? yn awr, yr oedd efe yn deimladwy os dilynid cynghor Ahithophel y byddai Dafydd mewn perygl o'i orddiwes a'i ladd. Felly efe a ymdrechodd i ddwyn tŷb arall i mewn, ac a ddywedodd, "Nid wyt yn anhyspys, O frenin! o wrolder dy dad, a'r rhai ag sydd yn awr gyd ag ef: ei fod wedi gwneuthur amryw ryfeloedd, ac a ddaeth o honynt bob amser yn fuddugoliaethus. Ac ysgatfydd ei fod yn awr yn y gwersyll, canys y mae efe yn dra chyfrwys a chelfyddgar, yn rhagweled troion dichellgar ei elynion; etto efe a âd ei filwyr yn yr hwyr; ac un ai efe a ymguddia ei hun mewn rhyw ddyffryn; neu a esyd gynllwyn wrth ryw graig: felly pan ymgyssylltо ein byddin mewn brwydr ag ef, ei filwyr a giliant tros ychydig amser; ond a ddeuant ar ein gwarthaf drachefn, wedi eu cefnogi drwy fod y brenin gerllaw iddynt: ac yn y cyfamser dy dad a ymddengys yn ddisymmwth yn amser y frwydr, ac a bair galondid i'w bobl ei hun pan fyddont mewn perygl, a braw i'r eiddo tithau. Ystyria, gan hynny, fy nghyngor, ac ymresymma arno; ac os na elli amgenach na chyfaddef ei fod yn oreu, ymwrthod â barn Ahithophel. Anfon i holl wlad yr Hebreaid, a gorchymmyn iddynt ddyfod i ymladd â'th dad. A bydd dy hun yn flaenor i'r fyddin, ac nac ymddiried ei threfniad i eraill. Yna disgwyl ei orchfygu gyd â hawsdra, pan orfyddech ef ar gyhoedd gyd â'i ychydig bartïon: ond bydded gennyt dy hun amryw ddeg miloedd; y rhai a ewyllysiant ddangos eu diwydrwydd a'u calondid. Ac os dy dad a gaua ei hun i fynu mewn rhyw ddinas, a dioddef cynllwyn, nyni a ddadymchwelwn y ddinas honno â pheiriannau rhyfel, a thrwy ei disylfaenu hi." Wedi i Hushai ddywedyd hyn, efe a ynnillodd ei fwriad yn erbyn Ahithophel; canys ei gyngor ef a ddewiswyd o flaen eraill gan Absalom. Pa fodd bynnag, nid oedd neb arall ond Duw* a wnaeth i gyngor Hushai ymddangos yn oreu i feddwl Absalom.

Felly Hushai a wnaeth frŷs i ddyfod at yr archoffeiriaid, Sadoc ac Abiathar, ac a fynegodd iddynt gyngor Ahithophel, a'r eiddo ei hun, ac mai 'r penderfyniad oedd dilyn y diweddaf. Efe a barodd iddynt, gan hynny, anfon at Ddafydd, a'i wneud yn hyspys o hono; ac amlygu iddo 'r cynghorion a gymmerwyd; a dymuno arno fyned yn gyflym tros yr Iorddonen; rhag i'w fab newid ei feddwl, a phrysuro i erlid ar ei ol ef, ei ragflaenu, a'i orddiwes, cyn ei fod yn ddiogel. Yn awr, yr oedd meibion yr archoffeiriaid yn guddiedig ganddynt, mewn lle pwrpasol y tu allan i'r ddinas, fel y dygent newyddion i Ddafydd o'r hyn a weithredid. Yn ganlynol, hwy anfonasant attynt wasanaethyddes, i'r hon y gallent ymddiried, i ddwyn cennadwri ynghylch y cynghorion a gawsai Absalom, gan orchymmyn iddynt arwyddo yr unrhyw i Ddafydd gyd â phob brŷs. Felly ni ymdroisant ddim; ond gan gymmeryd gyd â hwynt negesau eu tad, hwy a brofasant yn weinidogion duwiol a ffyddlon; a chan farnu bywiogrwydd a chyfrif cyflymdra yn nod goreu o wasanaeth ffyddlon, hwy a frysiasant i gyfarfod â Dafydd. Ond rhai gwŷr meirch a'u gwelsant, pan oeddynt ynghylch dwy o stadau oddiwrth y ddinas, y rhai a hyspysasant am danynt i Absalom; yr hwn yn ebrwydd a anfonodd adref i'w cymmeryd hwynt. Ond pan ganfu meibion yr archoffeiriaid hyn, hwy a droisant allan o'r ffordd, i bentref a elwid Bahurim. Yno y dy-

* Yr adfyfyriad hwn o eiddo Josephus, ddarfod i Dduw ddidd mmu cyngor peryglus Ahithophel, ac yn ddigyfrwng ynfydu Absalom annuwiol i'w wrthod; (pa ryw ynfydiad yw 'r hwn a eilw 'r ysgrythyr yn farnol galedwch y calonnau, a dallu llygaid dynion; y rhai, trwy eu han-nwioldeb ewyllysgar gynt, a gyfiawn haeddodd eu difetha, a thrwy hynny a ddygir i ddinystr,) sydd yn sulw tra chywir. Ac nid yw Josephus yn tiwdanu ei hun, nac yn blino ei ddarllenyddion, â thyb gyfrwysgall, am ddull y cyfryw farnol ynfydiad gan Dduw, tra mae 'r cyfiawnder o hono mor amlwg. Y drefn neillduol o ddwyfol weithrediadau, neu ganiattâd; a'r moddion y mae Duw yn ei arfer yn y cyfryw amgylchiadau, sydd yn fynych yn anadnabyddus i ni. Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw, ond y pethau a ddatguddiwyd a roddwyd i ni, ac i'n plant hyd byth, fel y gwnelom holl eiriau 'r gyfraith hon. Deut. xxix. 29. Ac ni ddarfu holl gywreinrwydd doethion diweddar, mor belled ag y gwelaf fi, roddi unrhyw oleuni neillduol yn hyn, ac amryw eraill o'r fath byngciau anhawdd ymherthynas i ddwyfol neu ddynol oruchwyliaethau. Gweiwch hefyd y Nodau ar V. 1. a'r IX. 4.

munasant ar ryw wraig eu cuddio a'u diogelu hwynt. Yn ganlynol, hi ollyngodd y gwŷr ieuaingc i lawr i ffynnon, ac a osododd gnuau gwlan trostynt; ac wedi i'r rhai a'u herlidiai ddyfod atti, a gofyn iddi pa le y gwelsai hwynt? ni wadodd na welodd hi y fath ddynion; oblegid aros o honynt gyd â hi tros amser; ond fyned o honynt ymaith yn ol hynny; a hi a ddywedodd os dilynent hwy yn ddiattreg, y dalient hwynt. Ond wedi hir erlid fel na's gallasant eu gorddiwes, hwy a ddychwelasant yn ol. Ac wedi i'r wraig ganfod y rhai hynny yn dychwelyd, ac nad oedd berygl mwy rhag i'r gwŷr ieuaingc gael eu cymmeryd ganddynt, hi a'u tynnodd wrth y rhaff i fynu o'r pydew, ac a adawodd iddynt fyned ym mlaen i'w taith. Yn ganlynol, hwy a deithiasant gyd â diwydrwydd mawr, ac a ddaethant at Ddafydd, ac adroddasant iddo yn gyflawn am y cynghorion a roddasid i Absalom. Felly efe a orchymmynodd i'r rhai oll oedd gyd ag ef fyned tros yr Iorddonen tra 'r ydoedd yn nos, ac na oedid dim ar y cyfrif hwnnw.

Ond Ahithophel, ar wrthodiad ei gyngor, a aeth ar ei asyn ac a farchogodd ymaith i'w wlad ei hun, Gilon; ac wedi galw ei deulu ynghyd, efe a ddywedodd yn eglur y cyngor a roddasai i Absalom; a chan na chymmerodd ei berswadio ganddo y difethid ef, a hynny cyn nemmor o amser, ac y byddai i Ddafydd ei orchfygu ef, a dychwelyd i'r frenhiniaeth drachefn. Felly efe a ddywedodd mai gwell oedd iddo ddwyn ymaith ei fywyd ei hun, gyd â rhyddid a mawrfrydigrwydd, nag ymostwng i gael ei gospi gan Ddafydd, mewn gwrthwynebiad i ba un yr oedd efe wedi gweithredu yn gwbl tros Absalom. Wedi iddo ymddiddan fel hyn â hwynt, efe a aeth i'r ystafell nesaf i mewn yn ei dŷ, ac a ymgrogodd.* A dyma fu farwolaeth Ahithophel, yr hwn a hunan-gondemniwyd. Ac wedi i'w berthynasau ei dynnu i lawr, a'i ryddhau o'r cebystr, hwy a ofalasant ynghylch ei angladd. Yn awr, ymherthynas i Ddafydd, efe a aeth rhagddo tros yr Iorddonen, fel y dywedasom eisoes, ac a ddaeth i Mahanaim, dinas harddwych a chadarn; a phawb o wŷr enwog y wlad a'i derbyniasant gyd â siriol-deb; oblegid y cywilydd oedd arnynt orfod iddo ffoi o Jerusalem, ac oddi ar y parch oedd ganddynt iddo yn ei flaenorol lwyddiant. Y rhai hyn oeddynt Barsìlai y Gileadiad, Siphar y llywodraethwr ym mysg yr Ammoniaid, a Machir,† y pennaeth yn Gilead. Y rhai hyn a'i diwallasant â chyflawnder o angenrheidiau iddo ei hun a'i ganlynwyr; fel nad oeddynt mewn eisiau o welyau, neu ddillad i'w rhoddi arnynt; na thorthau o fara, na gwin. Ië, hwy a brynasant amryw anifeiliaid i'w lladd ganddynt; ac a ddygasant y fath ddodrefn ag oedd angenrheidiol i esmwythau eu lludded pan oeddynt yn flinedig, gyd â lluniaeth, a chyflawnder o angenrheidiau eraill.

## PENNOD X.

*Am orchfygiad Absalom a'i farwolaeth.*

TRA 'r oedd Dafydd a'i ganlynwyr yn y sefyllfa hon, Absalom a gafodd fyddin lïosog o'r Hebreaid ynghyd i wrthwynebu ei dad; ac a aeth gyd â hwynt tros yr Iorddonen, ac a orphwysasant mewn lle heb fod ym mhell oddiwrth Mahanaim, yng ngwlad Gilead. Efe a appwyntiodd Amasa i fod yn flaenor ei holl lu, yn lle Jonathan ei gâr. Ei dad ef oedd Ithra, a'i fam Abigail. Yn awr, yr ydoedd hi a Zeruiah mam Joab, yn chwiorydd i Ddafydd. Ond wedi i Ddafydd rifo ei ganlynwyr, a'u cael ynghylch pedair mil o nifer, efe a ymrôdd i beidio aros hyd oni oddiweddid ef gan Absalom; ond a osododd tros ei wŷr gadpeniaid ar filoedd, a chadpeniaid ar gannoedd, ac a ddosparthodd ei fyddin yn dair rhan; un rhan a orchymmynodd i Joab, yr ail i Abishai, brawd Joab, a'r trydydd i Ittai, cydymmaith a chyfaill Dafydd, ond un a'i ddyfodiad o ddinas Gath. A phan oedd yn amcanu ymladd ei hun yn eu mysg hwynt, ni adawai ei gyfeillion iddo; a'u gommeddiad a sylfaenwyd ar resymmau tra doeth; "Canys," eb hwy, "os nyni a orchfygir ac yntau gyd â ni, yna y collwn bob gobaith o adferiad; ond os curir ni yn un rhan o'n byddin, gall y rhannau

* 2 Sam. xvii. 23.

† Mab Ammiel, o Lodebar; Hebr. a'r Septuagint.

eraill gilio atto ef, ac wrth hynny barottoi llu mwy, pan yn naturiol y meddylia 'r gelyn fod ganddo fyddin arall." Felly Dafydd a foddhawyd â'r cyngor hwn; ac a ymroddodd i aros yn Mahanaim. Ac fel yr oedd yn anfon ei gyfeillion a'i flaenoriaid i'r frwydr, efe a ddymunodd iddynt ddangos pob cefnogrwydd a ffyddlondeb, a chofio pa fanteision a dderbyniasant ganddo; y rhai er na fuont yn dra helaeth, etto nid oeddynt yn gwbl ddiwerth: ac efe a ddeisyfodd iddynt arbed y dyn ieuangc Absalom, rhag i ryw niweid ei oddiweddyd ef ei hun, os lleddid ef.* Ac fel hyn y danfonodd y fyddin allan i'r frwydr, gan ewyllysio buddugoliaeth iddynt yn yr unrhyw.

Yna y trefnodd Joab ei fyddin gyferbyn a'r gelyn, yn y gwastadedd mawr, lle yr oedd coedwig o'i ol. Absalom hefyd a ddug ei fyddin i'r maes i'w wrthwynebu ef. Ar ymgyssylltiad y frwydr, pob ochr a ddangosasant wrolder mawr; un blaid yn gosod ei hun yn y perygl mwyaf, ac arferyd ei medrusrwydd eithaf gogyfer ag i Ddafydd gael ei adferyd i'w deyrnas; a'r llall heb fod mewn un modd yn fyrr o wneuthur neu i ddioddef i'r eithaf, fel na ymddifadid Absalom o'r deyrnas honno, a'i ddwyn i gospedigaeth gan ei dad am ei ymosodiad digywilydd yn ei erbyn. Y rhai hynny hefyd ag oeddynt fwyaf lliosog oeddynt yn dra chwannog i wrthod eu gorchfygu gan yr ychydig oedd gyd â Joab, a chyd â'r blaenoriaid eraill, o herwydd y byddai hynny yn waradwydd mwyaf iddynt; tra 'r oedd milwyr Dafydd yn ymdrechu yn egnïol i fuddugoliaethu ar gynnifer o filoedd ag oedd gan y gelyn. Yn awr, gwŷr Dafydd a fuant orchfygwyr, trwy eu bod yn fwy grymmus, a medrus mewn rhyfel. Felly hwy a ddilynasant y lleill fel yr oeddynt yn ffoi ymaith trwy 'r coedydd a'r dyffrynoedd; a rhai a gymmerasant yn garcharorion, a llawer a laddasant, a mwy yn eu ffoedigaeth nag yn y frwydr; canys fe syrthiodd ynghylch deugain mil y dydd hwnnw. Eithr holl wŷr Dafydd a redasant yn chwyrn ar ol Absalom, canys efe a adnabyddid yn hawdd wrth ei harddwch a'i faintioli. Yr oedd ef ei hun hefyd yn ofni rhag ei ddal gan ei elynion. Felly efe a aeth ar gefn mules y brenin ac a ffodd ymaith. Ac fel yr oedd efe yn rhuthro ymlaen gyd â brys, ac yn egnïol, trwy'r coedydd, ei wallt a lynodd ac a ddyrysodd mewn cangen o bren brigog, lle y crogodd ef mewn modd rhyfedd ac arswydus. Ac am yr anifail, hi a aethai ymaith yn gyflym, fel pe buasai ei meistr etto ar ei chefn. Ond ag efe yn hongian yn yr awyr rhwng y canghennau, a adawyd i ewyllys ei elynion. Yn awr, pan ganfu un o filwyr Dafydd ef, efe a'i hyspysodd i Joab; ac wedi dywedyd o'r penciwdawd wrtho, pe buasai yn saethu at, ac yn lladd Absalom, y rhoddasai iddo ddeg a deugain o siclau; attebodd yntau, "Ni laddaswn fab fy meistr pe rhoisit i mi fil o siclau, yn enwedig ar ol dymuno o hono fod i'r gwr ieuangc Absalom gael ei arbed, yn ein clyw ni i gyd." Ond Joab a wnaeth iddo ddangos pa le yr ydoedd wedi gweled Absalom yn hongian. A phan ei gwelodd efe a'i saethodd at ei galon, ac a'i lladdodd.† A chludydd-arfau Joab a safodd o amgylch y pren, ac a dynnodd ei gorph marw i lawr, ac a'i bwriodd i wagle mawr ydoedd allan o olwg, gan osod carnedd o gerrig arno nes llenwi y ceudwll, a'i fod megis bedd o ymddangosiad. Yna Joab a udganodd mewn udgorn, ac a alwodd ei filwyr yn ol oddi wrth erlid byddin y gelyn; mewn trefn i arbed eu cydwladwyr.

Yn awr, Absalom a adeiladasai iddo ei hun golofn o faen mynor yng nglynn y brenin, dwy o stadau o Jerusalem; yr hon a alwodd efe Llaw Absalom; gan ddywedyd, os lleddid ei blant, yr arosai coffadwriaeth o'i enw trwy'r golofn honno. Canys yr oedd iddo dri o feibion, ac un ferch, a elwid Tamar, fel y crybwyllasom o'r blaen, yr hon wedi ei phriodi ag ŵyr i Ddafydd, Rehoboam, a ymddygodd fab, ‡ Abijah wrth ei enw, yr hwn yn ol dyddiau ei dad, a lywodraethodd y deyrnas. Ond am y pethau hyn ni a draethwn mewn rhan arall o'r Hanesyddiaeth, a fydd yn fwy cymmwys. Ond ar ol marwolaeth Absalom, pob un a ddychwelodd adref.

Yn awr, Ahimaaz mab Sadoc yr archoffeiriad, a aeth at Joab, gan ddymuno caniattau o

* 2 Sam. xvii. 5.

† 2 Sam. xviii. 14. ‡ 2 Cron. ix. 20.

iddo. Pa fodd bynnag ni chaniattaodd iddo ei ofyniad; ond a ddywedodd wrtho, "A fydd i ti, yr hwn a fuost bob amser yn negeseuwr newyddion da, yn awr fyned i hyspysu i'r brenin fod ei fab wedi marw?" felly fe ddymunodd iddo ymattal. Yna efe a alwodd Cushi, ac a roddodd y gennadwri atto ef, fel yr adroddai 'r hyn a welsai. Ond wedi i Ahimaaz ddymuno drachefn am adael iddo fyned yn negeseuwr, gan sicrhau y byddai iddo yn unig adrodd yr hyn a berthynai i'r fuddugoliaeth, ond nid yr hyn a berthynai i farwolaeth Absalom, efe a adawodd iddo fyned at Ddafydd. Yn awr, efe a gymmerodd ffordd nês na 'r cyntaf; canys nis gwyddai neb am dani ond ei hunan; ac felly y blaenorodd ar Cushi. Yna, fel yr oedd Dafydd yn eistedd rhwng y pyrth,* ac yn disgwyl gweled rhyw un yn dyfod atto o'r frwydr, un o'r gwylwyr a ganfu Ahimaaz yn rhedeg; a chyn gwybod o hono pwy ydoedd, dywedodd wrth Ddafydd ei fod yn gweled rhyw un yn dyfod atto, yr hwn a ddywedodd mai negeseuwr da ydoedd. Ychydig amser yn ol hyn efe a hyspysodd fod negeseuwr arall yn ei ddilyn ef. Ar yr hyn y dywedodd y brenin ei fod yntau yn negeseuwr daionus hefyd. Ond pan adnabu y gwyliedydd Ahimaaz, a'i fod eisoes yn dra agos, efe a hyspysodd i'r brenin mai mab Sadoc yr archoffeiriad ydoedd yn dyfod ar ei redfa. Felly yr oedd Dafydd yn dra chyssurus, ac a ddywedodd, mai cenhadwr newyddion daionus oedd efe, ac yn dwyn y fath newyddion o'r frwydr ag a ddymunai eu clywed.

Tra'r oedd y brenin yn dywedyd hyn, Ahimaaz a ymddangosodd, ac a ymgrymmodd iddo. Ac wedi i'r brenin ymholi ynghylch y frwydr, efe a ddywedodd, Ei fod yn dwyn iddo y newyddion da o fuddugoliaeth ac arglwyddiaeth. Ac wedi iddo ymholi am yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd ymherthynas i'w fab, attebodd, ei ddyfod o hono ef ymaith gyd a brŷs, wedi goresgyn y gelyn, ond iddo glywed trwst mawr y rhai oedd yn erlid Absalom, ac na fedrai wybod dim yn rhagor, o herwydd y brŷs a wnaethai pan anfonodd Joab ef i hyspysu am y fuddugoliaeth. Ond wedi dyfod Cushi, ac ymgrymmu i'r brenin, ac adrodd am y fuddugoliaeth, efe a ofynodd iddo am ei fab: yr hwn a attebodd, "Bydded i'r cyffelyb aflwydd ddigwyddo i'th elynion, ag a ddigwyddodd i Absalom." Y gair hwnnw ni chaniattaodd iddo ei hun na'i filwyr lawenychu am y fuddugoliaeth er ei bod yn fawr iawn; eithr Dafydd a aeth i fynu i'r fan uchaf o'r ddinas, † dan wylofain a churo ei ddwyfron, gan dynnu ei wallt, a gofidio ei hun am ei fab, a llefain allan, "O fy mab! dymmunaswn farw fy hun, a gorphen fy nyddiau gyd a thi!" Canys yr ydoedd efe wrth natur yn dyner o dymherau, ag a thosturi rhagorol ganddo tu ag at y mab hwn yn neilltuol. Ond pan glybu y fyddin a Joab fod y brenin yn galaru am ei fab, yr oeddynt yn cywilyddio myned i mewn i'r ddinas ar agwedd buddugoliaethwyr: ond hwy oll a ddaethant i mewn a'u hwynebau yn drist, ac mewn dagrau, megis pe buasent wedi cael eu gorchfygu.‡ Yn awr, pan oedd y brenin wedi ei orchuddio ei hun, ac yn ofidus yn galaru am ei fab, Joab a aeth atto ef, gan ei gyssuro, a dywedyd, "O fy arglwydd, nid ydwyt yn cydnabod dy fod yn gosod anaf arnat dy hun, trwy 'r hyn yr ydwyt yn awr yn ei wneuthur; canys yr wyt yn ymddangos megis yn casâu y rhai a'th garant, ac yn myned tan beryglon trosot; ïe, yn casâu dy hun a'th deulu, a charu y rhai sydd chwerw elynion i ti; ac ewyllysio cwmpeini y rhai a fuont feirw yn gyfiawn. Canys pe buasai Absalom wedi ynnill y fuddugoliaeth, ac wedi ei gadarnhau ei hun yn y deyrnas, ni fuasai neb o honom ni wedi ei adael yn fyw; ond pawb o honom, gan

*Y sawl a gymmerant olwg ar fy nescrifiad o byrth y deml, ni ryfeddant wrth yr hanes hon am orseddfa Dafydd, yma, ac yn 2 Sam. xviii. 24, ei fod rhwng dau borth neu brif-ddorau. Pyrth i ddinasoedd yn gystal a'r deml, oeddynt agoriadau ehang, gyd â rhagborth yn ei gychwyniad i mewn, ac arall yn ei ddiweddiad; rhwng y rhai achosion barnol oedd i gael eu gwrando, a chynghorion cyhoeddus i gael eu cynnal; fel y deallir yn dda oddiwrth amryw fannau o'r ysgrythyrau. 2 Cron. xxxi. 2. Sal. xi. 14. cxxvii. 5. Diar. i. 21. viii. 3, 34. xxxi. 23. ac yn fynych mewn mannau eraill.

† Gan fod Dafydd yn awr yn Mahanaim, ac yn y lle agored o borth y ddinas, yr hwn a ymddengys fyth megis wedi ei adeiladu yn lle uchaf o un rhan o'r mur: ac fel y dywed ein copiau eraill fyned o honoi fynu i'r ystafell uwchlaw y porth, 2 Sam. xviii. 33. Yr wyf yn meddwl y dylem ddiwygio ein presennol ddarlleniad o Josephus, ac am ddinas y dylem ddarllen porth, h. y. yn lle y rhan uchaf o'r ddinas, dylem ddywedyd, rhan uchaf y porth. Yn ganlynol, yr ydym yn cael Dafydd ar fyrr yn Josephus, yn gystal ag yn ein copiau eraill, 2 Sam. xix. 8. yn eistedd megis o'r blaen ym mhorth y ddinas hon. ‡ 2 Sam. xix. 2, 3.

ddechrau arnat dy hun, a fuasem yn druenus wedi ein difetha; tra y buasai ein gelynion heb alaru o'n herwydd, ond yn llawenhau, ac yn cospi y rhai a ddangosasant eu hunain yn drist o'n plegid. Ac nid yw gywilydd gennyt ti wneuthur hyn, ymherthynas i un ag oedd i ti yn elyn chwerw, yr hwn tra'r ydoedd i ti yn fab a brofodd mor elyniaethol. Gad heibio, gan hynny, dy ofidiau afresymmol, a thyred allan ac ymddangos i dy filwyr; a dychwel ddiolch iddynt am y ffyddlondeb a ddangosasant yn yr ymladdfa. Canys myfi fy hun heddyw a berswadiaf y bobl i'th adael di, a rhoddi y deyrnas i arall, os parhai i wneuthur y modd hwn; ac yna y gwnaf it' alaru yn chwerw ac o ddifrif hefyd." Joab wrth lefaru y modd hwn a wnaeth i'r brenin adael heibio ei wylofain; ac a'i dygodd i ystyriaeth am ei achosion. Felly efe a newidiodd ei wisg, ac a ymddangosodd mewn modd addas i'w weled gan y lliaws, ac a eisteddodd yn y porth. Ar ba achos yr holl bobl a glywsant am dano, gan redeg ynghyd* a'i gyfarch ef.

## PENNOD XI.

*Am adferiad Dafydd i'w Deyrnas, ei gymmodiad â Simei a Ziba, a'i serchowgrwydd i Barzilai. Gwrthryfel a marwolaeth Sheba.*

YN awr, yr Hebreaid hynny a fuasent gyd ag Absalom, ac a giliasant o'r frwydr, wedi iddynt oll ddychwelyd adref, a ddanfonasant negeseuwyr i bob dinas, i ddwyn ar gof iddynt pa leshâd a gawsent trwy lywodraethiad Dafydd, a'r rhyddid a barodd efe iddynt, trwy eu gwaredu rhag amryw ryfeloedd mawrion. Ond hwy a achwynasant, mai er ei fwrw ganddynt allan o'r deyrnas, a'i rhoddi i lywodraethwr arall, yr hwn oedd eisoes wedi marw, nad oeddynt yn awr yn attolygu i Ddafydd i adael heibio ei ddigter, ac i ddyfod yn gyfeillgar â hwynt; ac, megis yr arferai gynt i gymmeryd arno ofal eu hachosion, a derbyn y deyrnas drachefn. Hyn a ddywedid yn fynych i Dafydd; a hyn, er darfod i Ddafydd anfon at Sadoc ac Abiathar, yr archoffeiriaid, ar fod iddynt lefaru wrth lywodraethwyr llwyth Judah yn ol y dull canlynol: Ei fod yn waradwydd arnynt hwy adael i'r llwythau eraill i ddewis Dafydd iddynt yn frenin o flaen eu llwyth eu hun, a hynny pan oeddynt yn nesaf o garennydd iddo, ac o'r un gwaed cyffredin. Efe a orchymmynodd iddynt hefyd ddywedyd wrth Amasa, blaenor eu lluoedd, mai er ei fod yn fab i'w chwaer, ni chyngorasai y lliaws i adferyd y deyrnas i Ddafydd. Y gallai ef ddisgwyl oddi wrtho nid cymmod yn unig, canys hynny oedd wedi ei ganiattâu eisoes, ond hefyd prif lywodraethiad y fyddin, yr hyn a ganiattasid iddo eisoes gan Absalom. Yn ganlynol yr archoffeiriaid, wedi iddynt ymddiddan â llywodraethwyr ei lwyth, a dywedyd yr hyn a ordeiniasai y brenin iddynt, a berswadiasant Amasa i gymmeryd gofal yr achosion cyffredin. Felly efe a berswadiodd y llwyth hwnnw i anfon cenhadwyr yn ddioed i attolygu arno ddychwelyd i'w deyrnas. Yr unrhyw a wnaeth yr holl Israeliaid, wrth gyffelyb berswadiad Amasa.

Wedi i'r cenhadwyr ddyfod at Ddafydd, efe a ddychwelodd i Jerusalem: a llwyth Judah oedd y cyntaf a'i cyfarfyddodd wrth afon yr Iorddonen, † a Simei, fab Gera, gyd â mil o wŷr y rhai a ddug efe gyd ag ef o lwyth Benjamin; a Ziba, cyfaill Saul, gyd â'i feibion, pymtheg mewn rhifedi, a'i ugain gwasanaeth-ddynion. Y rhai hyn oll, yn gystal a llwyth Judah, a wnaethant bont o gychod tros yr afon, fel y gallai 'r brenin, a'r rhai oedd gyd ag ef, yn hawdd fyned trosti. Yn awr, mor gynted ag y daeth i'r Iorddonen, llwyth Judah a'i cyfarchasant ef. Simei hefyd a ddaeth ar y bont, gan ymaflyd yn ei draed ef, gan erfyn arno faddeu yr hyn oedd wedi ei droseddu, a pheidio bod yn rhy chwerw yn ei erbyn; na barnu yn gymmwys ei wneuthur yn siampl cyntaf o doster tan ei adnewyddol awdurdod; ond ystyried ei fod wedi edifarhau am ei fethiant o'i ddyledswydd, ac a gymmerasai ofal i ddyfod yn gyntaf o bawb i gyfarfod ag ef. Tra 'r ydoedd fel yma yn ymbil â'r brenin, ac yn ei gynhyrfu i dosturi, Abishai brawd Joab a ddywedodd, "Oni raid i'r dyn hwn farw

* 2 Sam. xix. 8. † 2 Sam. xix. 15. ‡ 2 Sam. xix. 8.

am felldithio o hono y brenin a appwyntiodd Duw i lywodraethu arnom?" Ond Dafydd a drodd ei hun gan ddywedyd, "Oni adewch fyth heibio, chwi feibion Zeruiah? Na chyfodwch attolwg i chwi derfysgoedd newyddion yn ein plith, wedi i'r rhai aeth heibio fyned trosodd; canys ni fynnwn i chwi fod heb wybod mai 'r dydd hwn yw dechreuad fy nheyrnasiad; am hynny 'r wyf ar fy llw yn arbed cospedigaethau i droseddwyr, ac yn peidio a gosod barn ar neb a bechasant. Bydd di gefnog, gan hynny, O Simei, ac nac ofna dy roddi i farwolaeth." * Felly efe a ymgrymmodd iddo, ac a aeth rhagddo o'i flaen ef. Mephibosheth hefyd, ŵyr Saul, a ddaeth i gyfarfod Dafydd, a gwisg wael am dano, a'i wallt yn ddyryslyd; canys wedi ffoi o Ddafydd ymaith, yr ydoedd yn y fath ofid, fel na thorrasai ei wallt, ac na olchodd ei ddillad, megis yn ymostwng ei hun i fyned tan y fath galedi, ar yr achos o'r cyfnewidiad yn amgylchiad y brenin. Yn awr, efe a gyhuddasid yn anghyfiawn wrth y brenin gan Ziba ei oruchwyliwr. Wedi iddo ei gyfarch ac ymgrymmu iddo, y brenin a ddechreuodd ofyn, Paham na ddaethai allan o Jerusalem gyd ag ef, a bod yn gydymaith iddo yn ei ffoedigaeth? Efe attebodd, mai 'r achos o'r ymddygiad anniolchgar hwn ydoedd i'w gyfrif i Ziba, o herwydd pan berasid iddo geisio pethau yn barod i ddyfod allan gyd ag ef, ni chymmerodd ddim gofal i hynny, heb ganddo fwy o barch iddo ef na phe buasai gaethwas. "Ac yn wir," eb efe, "pe buasai fy nhraed gennyf yn gyfan ac yn iach, ni fuaswn yn dy adael di; canys ni allwn y pryd hynny wneuthur defnydd o honynt yn fy ffoedigaeth. Ond nid hyn yn unig yw'r cam a wnaeth Ziba â mi, ymherthynas i'm dyledswydd i ti, fy arglwydd a'm meistr; ond efe a'm henllibiodd heblaw hynny, ac a ddywedodd anwir o'i ddyfais ei hun am danaf. Ond mi wn na chynnwys dy feddyliau di y fath enllibiau, ond sydd o duedd cyfiawn, ac yn caru gwirionedd, a bod i ewyllys Duw gael ei gyflawni. Canys pan oeddit yn y perygl o'th niweidio gan fy nhaid; a phan ar y cyfrif hwnnw y gallesid yn gyfiawn ddifetha ein holl deulu, ti a ymddangosaist yn gymhedrol ac yn drugarog, ac yna yn enwedig yr anghofiaist bob camweddau; pan, pe buasit yn eu coffâu, yr oedd gennyt awdurdod i'n cospi o'u herwydd. Ond ti a'm bernaist i megis un o'th gyfeillion, ac a'm gosodaist yn feunyddiol wrth dy fwrdd dy hun; ac ni fu arnaf angen un peth a allai dy garennydd nesaf a pharchusaf ei ddisgwyl." Wedi iddo ddywedyd hyn, Dafydd a fwriadodd na chospai Mephibosheth, ac na chondemniai Ziba, megis ei fod yn euog o osod celwydd ar ei feistr; ond a ddywedodd mai fel ag yr oedd wedi rhoddi ei holl etifeddiaeth i Ziba, oblegid na ddaethai gyd ag ef; felly yr oedd yn awr yn addaw maddeu iddo, ac a ordeiniodd fod un hanner o'r etifeddiaeth i gael ei adferyd iddo ef. Ar yr hyn yr attebodd Mephibosheth, "Nag ê, cymmered Ziba y cwbl; digon gennyf fi ydyw dy fod ti wedi dy adferyd i'th deyrnas." †

Ond Dafydd a ddymunodd i Barzilai, y gwr cyfrifol a daionus hwnnw, ag a wnaethai arlwyad mawr iddo ym Mahanaim, ac yn ei ddychweliad a gyd-deithiodd ag ef hyd yr Iorddonen, i ddyfod gyd ag ef i Jerusalem; canys fe addawodd iddo yn ei henaint y cyfryw driniaeth a gofal trosto ag oedd addas i'w amgylchiad. Ond yr oedd Barzilai yn chwennychu byw mor fawr gartref, fel yr erfyniodd arno ei esgusodi rhag cymdeithasu ymhellach ag ef, gan ddywedyd fod ei oedran yn rhy fawr i fwynhau dedwyddwch llysoedd; gan ei fod ef yn bedwar ugain mlwydd, ac yn gwneud parodrwydd i'w farwolaeth a'i gladdedigaeth. Felly efe a ddymunodd ganiattau o hono ei ofyniad hwn ganddo, a'i anfon ymaith; gan nad oedd efe yn gallu archwaethu ei fwyd neu ddiod oblegid ei oedran; a bod ei glustiau yn y fath fodd wedi eu caead i fynu fel na chlywai swn cerddoriaeth, yr hyn y

* Sam. xix. 23.

† Trwy i Ddafydd roddi hanner etifeddiaeth Mephibosheth i Ziba, gellid meddwl ei fod etto heb ei foddloni ymherthynas i wirionedd cyffaddefiad Mephibosheth. Ac nid yw Dafydd yn ei wahodd yn awr at ei fwrdd megis o'r blaen: ond yn unig yn maddeu iddo, os ydoedd mewn un radd yn euog. Ac nid yw 'r ffordd neillduedig o alarn a arferodd Mephibosheth yma, ac yn 2 Sam. xix. 24. yn gwbl rydd oddiwrth ymddangosiad o ragrith. Os Ziba a esgeulusodd neu a ommeddodd ddwyn ei asyn ei hun i Mephibosheth, ar yr hwn y gallasai farchogaeth at Ddafydd, anhawdd meddwl na allasai gwr mor fawr ag oedd efe gael rhyw anifail arall i'r un pwrpas.

mae y rhai a fo'n byw gyd â brenhinoedd yn ymblesern ynddynt." Pan ddymunoddd mor daer am hyn, dywedodd y brenin, "Yr wyf yn ymadael â thi, ond ti a adewi gyd â mi dy fab Chimham; ac arno ef y cyfrannaf bob rhyw bethau daionus." Felly Barzilai a adawodd ei fab gyd ag ef; ac a ymgrymmodd i'r brenin, ac a ddymunodd iddo ail-sefydliad dedwyddol ar ei achosion, yn ol ei feddwl ei hun; ac yna efe a ddychwelodd adref. Ond Dafydd a ddaeth i Gilgal, a chanddo gyd ag ef ynghylch hanner pobl Israel, a holl lwyth Judah.

Yn awr, gwŷr pennaf y wlad a ddaethant at Ddafydd i Gilgal, gyd â llïaws mawr ag achwyniaeth ganddynt ar lwyth Judah; ddarfod iddynt ddyfod atto ef mewn modd dirgel; pan ddylasent oll ynghyd, ag un bwriad, roddi cyfarfod iddo. Ond llywodraethwyr llwyth Judah a ddymunasant iddynt beidio anfoddloni, ddarfod iddynt hwy eu rhagflaenu:—"Canys," eb hwy, "nyni ydym garennydd i Ddafydd; ac ar y cyfrif hwnnw nyni yn hytrach a gymmerasom ei ofal, gan ei garu ef, a dyfod yn gyntaf i'w gyfarfod; etto ni ddarfu i ni trwy ein dyfodiad cynharol dderbyn unrhyw wobrwyon ganddo; yr hyn a allasai beri i chwi, y rhai a ddaethoch yn ddiweddarach,radd o anesmwythder. Wedi i lywodraethwyr llwyth Judah ddywedyd hyn, yr ydoedd llywodraethwyr y llwythau eraill etto heb gael boddlonrwydd, ond a ddywedasant, "O frodyr! ni's gallwn amgen na rhyfeddu wrthych, pan ydych yn cyfrif y brenin o'ch carennydd eich hun yn unig; pan y mae 'r hwn a dderbyniodd awdurdod oddiwrth Dduw i olygu arnom oll yn gyffredin, i'w gyfrif a pherthynas i ni i gyd; am ba reswm y mae gan yr holl bobl un rhan ar ddeg * ynddo, a chwithau ddim ond un rhan. Nyni hefyd ydym hŷn na chwi.† Gan hynny ni wnaethoch yn uniawn ddyfod at y brenin yn y modd dirgel a lledradaidd hwn."

Tra 'r oedd y llywodraethwyr fel hyn yn ymddadleu, rhyw ddyn drygionus a elwid Sheba, mab Bichri, o lwyth Benjamin, a safodd i fynu ynghanol y llïaws, ac a lefodd allan, "Nid oes i ni ddim rhan yn Dafydd, nac etifeddiaeth ym mab Jesse." A phan ddywedodd y geiriau hyn, efe a chwythodd mewn udgorn, ac a gyhoeddodd ryfel yn erbyn y brenin. A hwy oll a adawsant Ddafydd, oddigerth llwyth Judah, yr hwn ‡a arhosodd gyd ag ef, ac ai dygasant i'w dŷ brenhinol yn Jerusalem. Ond am ei orddercherch-wragedd, gyd â pha rai y cyfeillachodd ei fab Absalom, efe a'u symmudodd hwynt i dŷ arall; ac a orchymmynodd i'r rhai oedd a'u gofal arnynt i arlwyo gogyfer a'u cynnaliaeth; ond ni ddaeth efe ei hun yn agos attynt mwyach. Efe hefyd a ordeiniodd Amasa yn gadpen ar ei fyddinoedd, ac a roddodd iddo yr un uchel swydd ag oedd gan Joab o'r blaen: ac efe a orchymmynodd iddo gasglu ynghyd, allan o lwyth Judah, fyddin mor lïosog ag a fedrai, a dyfod atto ef ym mhen y tridiau; fel y byddai iddo roddi 'r holl fyddin tan ei ofal ef; a'i anfon i ymladd yn erbyn Sheba, mab Bichri. Yn awr, tra 'r oedd Amasa wedi myned allan, ac oedi rhyw raddau wrth gasglu y fyddin ynghyd, ac felly heb etto ddychwelyd; ar y trydydd dydd y brenin a ddywedodd wrth Joab, § "Nid yw gymmwys i ni oedi dim am y matter ymherthynas i Sheba; rhag iddo gasglu byddin lïosog o'i amgylch, a bod yn achos o fwy o niweid nag a fu Absalom. Nac aros di gan hynny yn hwy, ond cymmer gyd â thi y fath luoedd ag sydd gennyt wrth law, a'r hen ‖ gorph o filwyr hynny, y chwe chan gwr, a'th frawd Abishai gyd â thi. Ac erlid ar ol ein gelyn, ac ymdrecha i ymladd ag ef pa le bynnag y caffech ef. Prysura i'w ragflaenu; rhag goresgyn o hono ryw ddinasoedd caerog, a pheri i ni lawer o lafur a blinder cyn y goddiweddom ef."

Felly Joab a ymroddodd nad oedai; ond gan

* Yr wyf yn amlwg yn dewis darlleniad Josephus yma, pan y mae'n meddwl am un llwyth ar ddeg, a chyfrif Benjamin, ar un ochr; a llwyth Judah yn unig ar yr ochr arall: gan fod Benjamin yn gyffredin yn fwy hoff o dŷ Saul, ac yn llai ffyddlon i Ddafydd nag un llwyth arall hyd yn hyn: ac felly ni ellid ei ddisgwyl i uno â Judah yr amser hwn, i'w wneuthur yn ddeublyg: yn enwedig gan fod y gwrthryfel canlynol a Benjaminiad yn ben arno. Gwel 2 Sam. xx. 2, 3, 4.

† Reubel, Simeon, a Lefi, oeddynt yn hynach na Judah, Gen. xxix. 32--35.

‡ 2 Sam. xx. 2.

§ Abishai, 2 Sam. xx. 6. Ond yr wyf yn hytrach yn dewis adroddiad Josephus.

‖ Cerethiaid a'r Pelethiad, Hebr. a'r Sept. 2 Sam. xx. 7.

gymmeryd gyd ag ef ei frawd, a'r chwe chan gwŷr hynny, a rhoddi gorchymmyn ar i weddill y fyddin oedd yn Jerusalem ei ddilyn, efe a gychwynodd gyd â chyflymdra mawr yn erbyn Sheba. Ac wedi ei ddyfod i Gibeon, yr hon sydd bentref, ynghylch deugain o stadau o Jerusalem; Amasa a ddygodd fyddin lïosog gyd ag ef ac a gyfarfu Joab. Yn awr, yr oedd Joab wedi ei wregysu â chleddyf, a chanddo ei ddwyfronneg am dano: a phan ddaeth Amasa yn agos atto i'w gyfarch ef, efe a gymmerodd neillduol ofal, fod i'w gleddyf gwympo allan megis o hono ei hun; felly efe a'i cymmerodd i fynu oddiar y llawr; a thra 'r oedd yn nesâu at Amasa, yr hwn oedd gerllaw iddo, megis pe buasai yn myned i'w gusanu ef, efe a ymaflodd ym marf Amasa ag un llaw, ac â'r llall a frathodd y cleddyf, heb ei ragweled ganddo, yn ei ymysgaroedd, ac a'i lladdodd ef.* Y weithred ddrygionus ac annuwiol hon a wnaeth Joab i ddyn ieuangc canmoladwy o'i garennydd, ac un na wnaethai ddim niweid iddo; a hynny a wnaeth o eiddigedd tu ag atto, fod iddo feddiannu blaenoriaeth ar y fyddin yn gydradd ag ef o dan y brenin. Ac am yr un achos y darfuasai iddo ladd Abner. Ond y weithred flaenorol honno, marwolaeth ei frawd Asahel, yr hon yr ymddangosodd ei fod yn ei dïal, a gymmerodd efe yn esgusodiad: eithr am y mwrddrad hwn o Amasa, ni feddai unrhyw orchudd iddo. Yn awr, wedi i Joab ladd y penciwdawd hwn, efe a erlidiodd ar ol Sheba, wedi gadael y corph marw i ofal rhyw un; i'r hwn y parodd gyhoeddi wrth y fyddin, fod Amasa wedi ei ladd yn gyfiawn, a'i gospi yn haeddiannol. "Ond," eb efe, "os ydych chwi dros y brenin, dilynwch Joab ei benciwdawd ef; ac Abishai brawd Joab." Ond o herwydd fod y corph yn aros ar y brif-ffordd, a'r holl dyrfa yn dyfod tan redeg atto; ac fel y mae 'n arferol gyd â'r llïaws, a safasant ac a ryfeddasant wrtho tros amser; yr hwn oedd yn ei wylio a'i symmudodd ymaith, ac a'i dug i ryw bellder oddiwrth y ffordd, ac yno y gadawodd ef, wedi taenu ei wisg trosdo. Wedi darfod hyn yr holl bobl a ddilynasant Joab. Yn awr, fel yr oedd efe yn erlid Sheba trwy holl wlad Israel, dywedodd rhyw un iddo ei fod mewn dinas gadarn a elwid Abel-beth-maacha. Ar hyn Joab a aeth yno, ac a ymosododd o'i hamgylch gyd a'i luoedd, gan gyfodi gwrthglawdd i'w herbyn, a gorchymmyn i'r milwyr ddisylfaenu a dadymchwelyd y muriau. A chan na ddarfu i wŷr y ddinas ei ollwng i mewn, yr ydoedd yn dra digofus o'i blegid.

Yn awr, yr ydoedd gwraig o ychydig gyfrifiad, ac etto yn ddoeth ac yn ddeallus, yr hon yngweled ei genedigol ddinas mewn eithaf perygl, a esgynodd ar y mur, a thrwy 'r milwyr hi a alwodd am Joab; a phan ddaeth, a rhoi clust ymwrandawiad iddi, hi ddywedodd, "Duw a ordeiniodd frenhinoedd, a blaenoriaid lluoedd, fel y torrent hwy ymaith elynion yr Hebreaid, a dwyn i mewn heddwch cyffredinol yn eu mysg; ond yr wyt ti yn ceisio dadymchwelyd a diboblogi un o ddinasoedd Israel, yr hon ni fu euog o un trosedd." Ond efe a attebodd, "Parhaed Duw yn drugarog wrthyf; mi ewyllysiwn ochelyd lladd un o'r bobl; pa faint llai y chwennychwn ddinystrio y fath ddinas a hon: ac os rhoddant hwy i fynu i mi Sheba, fab Bichri, yr hwn a wrthryfelodd yn erbyn y brenin, mi gyfodaf y cynllwyn, ac a dynnaf fy myddin ymaith oddi wrth y lle". Yn awr, cyn gynted ag y clybu y wraig yr hyn a ddywedodd Joab, hi ddymunodd arno attal y cynllwyn tros ychydig amser; oblegid y rhoddid pen ei elyn, wedi ei fwrw tros y mur, iddo yn ebrwydd. Felly hi a aeth i wared at y dinasyddion, ac a ddywedodd wrthynt, "A fyddwch mor annuwiol a chymmeryd eich difetha yn druenus gyd â'ch plant a'ch gwragedd, er mwyn dyn drygionus; ac un nad yw neb yn ei adnabod? Ac a fynnwch chwi ef yn frenin yn lle Dafydd, yr hwn a fu gymmaint cymmwynaswr i chwi; a gadael eich dinas yn unig i wrthsefyll byddin mor gadarn a llïosog?" Felly hi a lwyddodd gyd â hwynt i dorri pen Sheba, ac a'i bwriasant dros y mur i fyddin Joab. Wedi gwneuthur hyn cad-flaenor y brenin a udganodd mewn udgorn, ac a godasant y cynllwyn,† gan ymado ymaith. Ac wedi ei ddyfod

* 2 Sam. xx. 10.

† 2 Sam. xx. 22.

i Jerusalem efe a appwyntiwyd drachefn i fod yn llywodraethwr ar yr holl fyddin. Y brenin hefyd a osododd Benaiah yn gadpen ar y gwylwyr milwraidd,* ac ar y chwe chan gwr: ac a osododd Adoram ar y dreth, a Sabathes† ac Achilaus oeddynt olygwyr y coffadwriaethau. Efe hefyd a wnaeth Shefa yn ysgrifenydd, ac a appwyntiodd Sadoc ac Abiathar yn archoffeiriaid.

## PENNOD XII.

*Am waredigaeth yr Hebreaid oddiwrth Newyn, pan osodwyd cosp, wrth archiad y Gibeoniaid, ar dylwyth y sawl a'u lladdasent; ac am y Brwydrau mawrion gan Dafydd a'i ganlynwyr yn erbyn y Philistiaid.*

AR ol hyn,‡ pan ydoedd y wlad wedi cyfyngu yn fawr arni oblegid newyn, Dafydd a ymbiliodd â Duw am drugarhau wrth y bobl, a datguddio iddo yr achos o hono, a pha fodd y gellid meddyginiaethu y clwyf hwnnw. Y prophwydi § a attebasant, y mynnai Duw ddial y Gibeoniaid, y rhai a fuasai Saul mor annuwiol a'u bradychu i'w lladd; ac ni sylwiasai ar y llw a wnaethai Joshua, y penciwdawd, a'r henuriaid â hwynt: ac os caniattai y brenin i'r fath ddial gael ei wneuthur dros y rhai a laddwyd ag a ewyllysiai 'r Gibeoniaid, yr ymgymmodai Duw â hwynt, ac y rhyddheid y lliaws o'u cyfyngder. Cyn gynted, gan hynny, ag y deallodd Dafydd hyn, efe a ddanfonodd am y Gibeoniaid, ac a ofynodd pa beth a ddymunent gael? A phan ddymunasant fod i saith || mab i Saul gael eu traddodi iddynt i'w cospi, efe a'u rhoddodd i fynu iddynt: ond efe a arbedodd Mephibosheth, mab Jonathan. Felly pan gafodd y Gibeoniaid y dynion, hwy a'u cospasant megis y chwennychasant. Ar hyn Duw a ddechreuodd anfon gwlaw, ac adnewyddu 'r ddaear i ddwyn allan ei ffrwythau fel arferol, a'i rhyddhau oddiwrth y sychder; fel ag y blodeuodd gwlad yr Hebreaid drachefn.

Ychydig yn ol hyn y brenin a wnaeth ryfel yn erbyn y Philistiaid; ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr â hwynt, a'u dodi i ffoi, efe a adawyd yn unig, ac yn eu herlid hwynt; ac wedi llwyr ddiffygio ei hun, efe a ganfuwyd gan un o'r gelynion; ei enw oedd Achmon,¶ mab Araph, ac o feibion y cawri. Yr oedd ganddo ef waywffon, carn pa un a bwysai dri chant o siclau, a dwyfronneg o gadwyn-waith, ynghyd a chleddyf. Efe a droes yn ol, ac a redodd yn chwyrn i fyned i ladd Dafydd, brenin eu gelynion; canys yr ydoedd wedi ei wisgo ei hun allan gan lafur. Ond Abishai brawd Joab a ymddangosodd yn y cyfwng hwn, ac a amddiffynodd y brenin â'i darian, fel yr oedd yn gorwedd i lawr, ac a laddodd y gelyn. Yn awr, yr oedd y lliaws yn dra anesmwyth oblegid y peryglon yr oedd y brenin yn ei osod ei hun ynddynt, a'i fod yn dra agos a chael ei ladd. A'r llywodraethwyr a barodd iddo dyngu nad elai efe allan mwyach gyd â hwynt i'r frwydr, rhag ei ddyfod i ryw anhap drwy ei fawr galondid a'i ëondra; a thrwy hynny ymddifadu 'r bobl o'r manteision yr oeddynt yn awr yn eu mwynhau trwyddo ef; a'r hyn a allent fwynhau rhagllaw trwy ei fod ef yn byw yn eu mysg.

Wedi clywed o'r brenin fod y Philistiaid wedi ymgynnull yn ** ninas Gazara, efe a anfonodd fyddin i'w herbyn hwy; pan ddarfu i Sibbechai, yr Huttiaid, un o wŷr dewraf Dafydd, ymddwyn ei hun yn y fath fodd ag i haeddu mawr ganmoliaeth; canys efe a laddodd lawer o'r rhai hynny ag oedd yn ymffrostio eu hunain eu bod o hiliogaeth y cawri; ac yn ymfalchio yn fawr ar y cyfrif hwnnw; ac efe wrth hynny a fu 'n achos o fuddugoliaeth i'r Hebreaid. Ar ol hyn y Philistiaid a wnaethant ryfel drachefn; a phan anfonodd Dafydd fyddin i'w herbyn, Nephan, ei gâr ef, a ymladdodd lawlaw â'r grymmusaf o'r holl Philistiaid, ac a'i lladdodd ef, gan beri i eraill ffoi: llawer o honynt hefyd a laddwyd yn y frwydr. Yna, ychydig yn ol hynny, y Philistiaid a sefydlasant eu gwersyll mewn dinas yr hon nid oedd ei sefyllfa neppell o derfynau

* Cerethiaid a'r Pelethiaid, 2 Sam. xx. 23.
† Jehosaphat, mab Ahud, Hebr. a'r Sept. 2 Sam. xx. 24.
‡ Ynghylch Bl. 1062, C. C.
§ O bossibl y ddau archoffeiriad, Sadoc ac Abiathar.
|| Y rhai hynny, ysgatfydd, a fuasai yn fwyaf astud yn nifethiad y Gibeoniaid.
¶ Isbbibenob, 2 Sam. xxi. 16.
** Ynghylch Bl. 1059.

gwlad yr Hebreaid. Yr oedd gyd â hwynt yno ŵr yn chwe chufydd o uchder; ac yr oedd ganddo ar bob un o'i ddwylaw a'i draed un yn rhagor o fysedd na chan ddynion eraill wrth naturiaeth. Yn awr, yr un a anfonwyd i'w erbyn gan Ddafydd allan o'i fyddin ydoedd Jonathan, mab Shimea, brawd Dafydd, yr hwn a ymladdodd lawlaw â'r gwr hwn, ac a'i lladdodd ef: a chan mai efe oedd yr hwn a roes dro ar y frwydr, efe a ynnillodd y clod mwyaf am ei wrolder ynddi. Y gwr hwn hefyd a ymffrostiai ei hun ei fod o'r cawri. Ond ar ol yr ymladdfa hon, ni wnaeth y Philistiaid ryfel mwyach yn erbyn yr Hebreaid.

Ac yn awr Dafydd, wedi ei ryddhau oddi wrth ryfeloedd a pheryglon, ac yn mwynhau heddwch mawr, a gyfansoddodd * ganiadau a hymnau o fawl i Dduw, o amryw hŷd a mesurau. Efe hefyd a wnaeth offerynnau cerdd, ac a ddysgodd y Lefiaid i ganu hymnau o fawl i Dduw; ar y dydd Sabbath, ac ar wyliau nodedig eraill. Yn awr cyfansoddiad yr offerynnau ydoedd fel hyn: y nabl ydoedd offeryn a deg tant, a chwaräeid arnynt â bwa. Y saltring ydoedd ag iddi ddeuddeg nodau, ac a chwaräeid arni â bysedd. Y symbalau oeddynt offerynau llydain a helaeth, ac wedi eu gwneuthur o bres. A chymmaint a hyn a wasanaetha ymherthynas i'r offerynnau Iuddewig, fel na byddo'r darllennydd yn gwbl anhyspys o'u naturiaethau.

Yn awr, yr holl wŷr oedd o amgylch Dafydd ydoedd gedyrn. Y rhai mwyaf clodfawr ac enwog yn eu mysg oeddynt ddeunaw ar hugain o rifedi.† Am bump o'r rhai yn unig yr adroddaf o rau eu gweithredoedd. Canys hyn a wasanaetha i amlygu rhinweddau y lleill hefyd: canys y rhai hyn oeddynt ddigon awdurdodol i ddarostwng gwledydd, ac i orchfygu cenhedlaethau mawrion. Y cyntaf, gan hynny, oedd Jessai, mab Achmaas; yr hwn yn fynych a ruthrai ar luoedd y gelynion, ac ni adawai heibio ymladd nes iddo ddifetha naw ‡ cant o honynt. Ar ei ol ef yr oedd Eleazar, mab Dodo; yr hwn oedd y brenin yn Arasam: y gwr hwn, pan unwaith yr oedd yr Israeliaid dan ddychryn mawr wrth nifeiri y Philistiaid, ac yn diange rhagddynt, a safodd ei hun ac a syrthiodd ar y gelyn, ac a laddodd lawer o honynt, nes glynu ei gleddyf wrth ei law trwy 'r gwaed a dywalltasai; ac nes i'r Israeliaid, trwy weled y Philistiaid yn cilio o'i blegid ef, ddyfod i lawr o'r mynyddoedd a'u herlid hwynt; ac ar y pryd hynny a ynnillasant fuddugoliaeth hynod, tra 'r oedd Eleazar yn lladd y dynion, a'r llïaws yn canlyn ac yn yspeilio 'r cyrph meirwon. Y trydydd ydoedd Sheba, mab Ilus. Yn awr, y gwr hwn pan yn y rhyfel â'r Philistiaid, yr oeddynt wedi gwersyllu mewn lle a elwid § Lehi; a phan oedd yr Hebreaid drachefn tan ofn wrth liosowgrwydd eu byddin, fel na allasant sefyll; efe a safodd ei hun yn lle byddin, a chorph o ddynion. A rhai o honynt a ddadymchwelodd, a rhai a'r nad oeddynt alluog i oddef ei nerth a'i rymmusder, efe a'u herlidiodd. Dyma weithredoedd dwylaw ac ymladdfa a gwblhaodd y tri chedyrn hyn. Yn awr, ar amser ag yr oedd y brenin

* Hyn a ddengys, yn ol tŷb Josephus, ddarfod i Ddafydd gyfansoddi Llyfr y Salmau, nid ar amrywiol amserau o'r blaen, fel y mae eu titlau presennol yn arwyddo, ond yn gyffredinol yn niwedd ei fywyd, neu wedi i'w ryfeloedd fyned trosodd. Ac nid yw Josephus, nac awdwyr y llyfrau adnabyddus o'r Hen Destament a'r Newydd, neu 'chwaith y Gosodiadau Apostolaidd, yn ymddangos fel yn cyfrif nemmor o honynt i neb rhyw awdwyr eraill ond Dafydd ei hun. Pa fodd bynnag rhaid i ni sylwi yma, fel y mae Josephus yn dywedyd, Hynaf. II. 16. ddarfod i Moses gyfansoddi y gân wrth y Mor coch, Exod. xv. 1---21. yn y mesur hexameter, neu odlau chwe-braich; megis hefyd Hynaf. IV. 8. fod cân Moses, Deut. xxxii. 1---43. yn cael ei chyfrif yn gynghanedd chwech-odl: felly y mae efe yn dywedyd fod i Salmau Dafydd amryw fath o fesurau; ac yn enwedig eu bod yn gynnwysedig o gynghanedd tair-odl a phum-odl, Hynaf. VII. 11. yr hyn oll sy'n arwyddocau ei fod yn golygu y ffordd oren i ddescrifio y caneuon Hebreaidd hyn i'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid, dan yr enwau hyn o Chwech-odl, Teir-odl, a Phum-odl. Yn awr fe ymddengys fod yr offerynnau cerdd a arferid gynt, trwy orchymmyn y brenin Dafydd a Solomon, ac a ddygwyd i Babilon yn amser y caethgludiad, gan y ddau lwyth, y rhai hefyd a ddygwyd yn ol wedi 'r caethiwed; megis hefyd fod y cantorion a'r cerddorion a fu byw wedi 'r caethgludiad, ddyfod yn ol gyd â'r offerynnau hynny: Ezra ii. 41. vii. 24. Neh. vii. 24. Hynaf. Jos. XI. 3, 4, 5. ac na allai'r gerddoriaeth a'r offerynnau hyn yn y deml amgen na bod yn adnabyddus i Josephus, a fuasai yn offeiriad perthynol i'r deml; yr hwn yn ganlynol sy'n rhoddi i ni ddesgrifiad byrr o dri o'r offerynnau, Hynaf. VII. 12. ac sy'n rhoddi cyfrif eglur, fod y cyfryw salmau a hymnau yn cael eu harfer yn ei ddyddiau ef yn y deml: Hynaf. XX. 9. Felly y mae traethiad Josephus tu hwnt i bob dadl yn yr achos hwn. Ac ni all un tŷb o eiddo awdwyr diweddar, a'r nad yw yn cyttuno a'r hyn a ddywed Josephus ar y matter hwn, gael ei gyfrif o uniawn farn ymherthynas i gynghanedd a mesurau yr Hebreaid hynafiaethol. Ac nid oes, i'm tŷb i, unrhyw sicrwydd hynafol arall, i wrthddywedyd y tystiolaethau sy'n awr o'n blaen. Bod cerddoriaeth hynafiaethol yr Hebreaid yn dra chyflawn hefyd, a chanddi amrywiaeth o donau neu fesurau sydd amlwg wrth nifer eu hofferynnau cerdd, ac wrth dystiolaeth un nodedig arall, Iesu fab Sirach; Ecclus. i. 18. yr hwn a ddywed, fod yn y deml yn ei ddyddiau ef gantorion yn canu â'u llais, gyd ag amrywiaeth sain, yn gwneuthur peroriaeth hyfryd.

† Dau ar bymtheg ar hugain, Hebr. a'r Septuagint.

‡ Wyth gant, 2 Sam. xxiii. 8.

§ Gwelwch y nôd ar V. 3.

unwaith yn Jerusalem, ac y daeth lluoedd y Philistiaid ar ei warthaf i ymladd ag ef, Dafydd aaeth i frîg y tŵr, fel y dywedasom eisoes, i ymofyn â Duw ymherthynas i'r frwydr, tra'r oedd gwersyll y gelyn yn y dyffryn ag sy'n cyrraedd hyd Bethlehem, yr hon sydd* ugain o stadau o Jerusalem. Yn awr, Dafydd a ddywedodd wrth ei gymdeithion, "Y mae gennym ddwfr rhagorol yn fy ninas fy hun; yn enwedig yr hwn sydd yn y pydew yn agos i'r porth;" gan ryfeddu os deuai neb a pheth o hono iddo ef i'w yfed: ond efe a ddywedodd y byddai fwy dewisol ganddo ei gael na llawer o arian. Pan glybu y tri wŷr hyn y peth a ddywedodd efe, hwy a redasant ymaith yn ddioed, gan dorri trwy ganol gwersyll y gelynion, a dyfod i Bethlehem; ac wedi iddynt dynnu'r dwfr, hwy a ddychwelasant drachefn trwy wersyll y gelyn, at y brenin; yn gymmaint a darfod i'r Philistiaid ryfeddu cymmaint wrth eu hyfdra a'u hoywder, ag iddynt fod yn llonydd, heb wneuthur dim iddynt, fel pe buasai nifer mor fychan yn ddirmygus ganddynt eu niweidio. Ond pan ddygwyd y dwfr at y brenin ni fynnai ei yfed; gan ddywedyd ei ddwyn iddo trwy fawr berygl, ac megis gwerth gwaed dynion; ac nad oedd gymmwys ar y cyfrif hwnnw ei yfed. Ond efe a'i tywalltodd allan i Dduw, fel diod-offrwm, ac a ddiolchodd iddo am gadwedigaeth y bobl. Y nesaf at y rhai hyn oedd Abishai, brawd Joab, yr hwn mewn un dydd a laddodd chwe chant†. Y pummed oedd Benaia, yr hwn oedd a'i achau o'r offeiriaid. Yr hwn wedi ei herrio gan ddau o wŷr cedyrn yngwlad Moab, efe a'u gorchfygodd hwynt trwy ei wrolder. Ymhellach, yr ydoedd Aiphtwr yr hwn oedd o faintioli tra mawr, a pha un hefyd a'i herriodd ef: etto efe, pan ydoedd yn anarfog a'i lladdodd â'i waywffon ei hun, trwy ei thaflu atto ef; canys efe a'i daliodd trwy drais, ac a gymmerodd ymaith ei arfau, tra'r oedd yn fyw, ac yn ymdrechu i ymladd, ac â hwynt a'i lladdodd ef. Gellir hefyd chwanegu hyn at y gweithredoedd rhagflaenol o eiddo 'r un gwr; un ai megis y pennaf o honynt mewn gwrolder, neu gyffelyb i'r lleill. Pan ddisgynodd caenen o eira, a digwydd i lew lithro i lawr i bydew, genau pa un ydoedd yn gul fel na allai ddyfod allan, a'r eira yn ei orchuddio; felly pan na chafodd le i'w achub ei hun, efe a ruodd. Pan glybu Benaia y bwystfil gwyllt, efe a nesaodd tu ag atto, ac a aeth i wared i enau y pydew ac a'i tarawodd â phawl oedd gerllaw iddo, ac a'i lladdodd‡yn ebrwydd. Hefyd y tri ar ddeg ar hugain eraill oedd gyffelyb i'r rhai hyn mewn gwrolder.

## PENNOD XIII.

*Am rifiad y Bobl wrth orchymmyn Dafydd; a'r effeithiau canlynol o Ddwyfol anfoddlonrwydd.*

YN awr § y brenin Dafydd a chwennychodd wybod pa gynnifer deg miloedd ydoedd rhifedi 'r bobl; ond a ‖ anghofiodd orchymmyn Moses, yr hwn a ragddywedodd wrthynt, os rhifid lliaws y bobl, fod iddynt dalu hanner sicl i Dduw am bob un. Yn ganlynol y brenin a

* Bethlehem a ddywedir yma ei bod yn ugain ystâd o Jerusalem, pan wybyddir yn dda ei bod ynghylch wyth a deugain. Hwn sydd raid ei fod yn gyfeiliornad o eiddo 'r copiwr, nid Josephus ei hun; yr hwn sydd raid ei fod yn gwybod am y pellder yn rhy dda, i gamsynio am fwy na hanner y mesuriad.

† Tri chant, Hebr. a'r Septuagint. ‡ 2 Sam. xxiii. 20.

§ Ynghylch Bl. 1058.

‖ Geiriau Duw trwy Moses, Ecsod. xxx. 12. sydd yn ddigonol yn cyfiawnhau y rhesymau a rydd Josephus yma am y pla mawr a grybwyllir yn y bennod hon: "Pan rifech feibion Israel dan eu rhifedi; yna rhoddant bob un iawn am ei einioes i'r Arglwydd, pan rifer hwynt, fel na byddo pla yn eu plith pan rifer hwynt." Ac yn wir ni allai esgeulusdra Dafydd, neu 'r Sanhedrim ar y cyfrifiad hwn, esgusodi y bobl rhag cyflawni y gyfraith yma; y rhai a ddylasent etto ddwyn eu rhwymedig offrwm o hanner sicl gyd â hwynt pan ddaethant i'w rhifo. Ac yr wyf yn cael fy nhueddu i feddwl, mai y prif reswm paham y mae cenedlaethau yn cael eu cospi yn barhaus â brenhinoedd a llywodraethwyr annuwiol, yw hyn, Eu bod agos yn wastadol yn cyduno â hwynt yn eu hesgeulustra o, a'u hanufudd-dod i, ddwyfol orchymmynion; gan oddef i'r cyfreithiau dwyfol hyn fyned yn ddiddefnydd ac yn ddirmygus, mewn trefn i foddio y brenhinoedd a'r llywodraethwyr annuwiol hynny: a'u bod yn ymostwng i amryw gyfreithiau annuwiol y cyfryw frenhinoedd a llywodraethwyr, yn lle i gyfiawn gyfreithiau Duw, pa rai y dylai holl ddynolryw yn wastadol eu hufuddhau, dyweded eu brenhinoedd a'u llywodraethwyr a fynnont i'r gwrthwyneb. Y dewisiad hwn o ddynol o flaen dwyfol gyfreithiau a ymddengys i mi fel yn brif-nodau cenhedlaethau gwrth-gristionogol ac eilunaddolgar. Yn ganlynol, da y mae Josephus yn sylwi, IV. 8. mai dyledswydd pobl Israel ydoedd cymmeryd gofal, i fod i'w brenhinoedd, pan fyddent ganddynt, beidio a myned tu hwnt i derfynau cymmedrolder mewn cyfoeth ac awdurdod, a thyfu o honynt yn anllywodraethus gyfraith Dduw; yr hwn a fyddai sicr o fod o niweid mwyaf i'w dwyfol sefydliad. Ac nid wyf yn golygu yr esgeulustra hwnnw yn unig i'r Iuddewon. Y cenedlaethau hynny a elwir yn Gristionogion ydynt weithiau yn wir yn dra awyddus i attal eu brenhinoedd a'u llywodraethwyr rhag cyfreithiau dynol eu hamrywiol deyrnasoedd; ond heb ganddynt y cyffelyb ofal i'w hattal rhag torri o honynt orchymmyn Duw. "Ai cyfiawn yw ger bron Duw, wrando arnoch chwi yn hytrach nag ar Dduw? Bernwch chwi." Act. iv. 19. "Rhaid yw ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion." pen. v. 39.

orchymmynodd i Joab, cadpen y filwriaeth, i fyned a rhifo yr holl lïaws. Ond pan ddywedodd efe nad oedd angenrheidrwydd am y fath rifiad, ni pherswadid ef i alw ei orchymmyn yn ol, ond a archodd iddo na oedai ei gyflawni, ond myned yn union-gyrch ynghylch rhifo 'r Hebreaid. Felly Joab a gymmerodd gyd ag ef bennau y llwythau, a'r ysgrifennyddion, ac a aeth tros wlad yr Israeliaid, gan gymmeryd sulw pa mor lïosog ydoedd y bobl, a dychwelyd i Jerusalem at y brenin ym mhen y naw mis ac ugain niwrnod. Ac efe a roddes i mewn at y brenin gyfrif o'r bobl, heb lwyth Benjamin; canys ni ddarfuasai iddo etto rifo y llwyth hwnnw, na llwyth Lefi; canys y brenin a edifarhasai am iddo bechu yn erbyn Duw. Yn awr rhifedi y gweddill o'r Israeliaid oedd naw cant o filoedd, y rhai oedd yn alluog i ddwyn arfau a myned i ryfel.* Ond llwyth Judah wrtho ei hun ydoedd bedwar cant o filoedd.†

Yn awr wedi i'r prophwydi arwyddoccau i Ddafydd fod Duw yn ddig wrtho, efe a ddechreuodd ymbil am iddo drugarhau wrtho, a maddeu ei bechod. Eithr Duw a ddanfonodd Nathan y prophwyd i wneud cynnygiad iddo o dri pheth a ddewisai. "A fynnai efe saith mlynedd o newyn i ddyfod ar y wlad? neu a fynnai efe ryfel, a chael ei ddarostwng am dri mis gan ei elynion? neu ynte i Dduw ddanfon haint ym mhlith yr Hebreaid am dri diwrnod?" Ond fel yr oedd wedi ei ddarostwng i ddewisiad enbyd o un o'r barnau uchod, yr ydoedd mewn terfysg a chyfyngder mawr. Ac wedi dywedyd o'r prophwyd y gorfyddai arno o angenrheidrwydd wneuthur y dewisiad hwn, a chan ei orchymmyn i atteb yn ebrwydd, fel y tystiolaethai yr hyn yr oedd yn ei ddewis wrth Dduw: y brenin a ymresymmodd ag ef ei hun, Mai os gofynnai am newyn, yr ymddangosai yn gwneuthur hynny i eraill, heb berygl iddo ei hun, trwy fod ganddo ef ddigonedd o ŷd wedi ei gloi i fynu: ac os dewisai gael ei orchfygu gan ei elynion am dri mis, efe a ymddangosai megis yn dewis rhyfel, o herwydd fod ganddo wŷr, ac ymddiffynfeydd cryfion, ac nad oedd yn ganlynol yn ofni dim oddiwrth hynny: felly efe a ddewisodd y cerydd hwnnw ag sydd gyffredin i frenhinoedd ac i ddeiliaid; ac ymherthynas i ba un yr oedd y perygl gymmaint o bob tu; gan ddywedyd, Mai gwell oedd syrthio yn nwylaw Duw, na 'r eiddo ei elynion.

Wedi i'r prophwyd wrando hyn, efe a'i mynegodd wrth Dduw: yr hwn ar hynny a anfonodd haint farwol ar yr Hebreaid, am dri diwrnod. Yn awr yr haint echryslon yma ydoedd, mae 'n wir, o un natur; ond a ddygodd ymaith fywydau y bobl trwy ddeng mil o achosion ac achlysuron, y rhai ni fedrai y cleifion eu hunain ei ddeall; canys y naill a fuont feirw ar yddfau y lleill, a'r afiechyd ofnadwy yn eu gorddiwes yn ddiarwybod, ac yn eu dwyn yn ddisymmwth i'w diwedd. Rhai yn ddioed a roddent i fynu yr yspryd, gyd â chwerw loesau a gofidiau: a rhai a wisgid ymaith gan eu doluriau, ac nad oedd weddill o honynt ond i'w claddu; ond mor gynted ag y clafychent yr oeddynt yn truanu i farwolaeth: rhai a dagid gan alaru yn drwm eu cyflwr, megis hefyd wedi eu taro â dallineb disymmwth: a rhai o honynt, fel yr oeddynt yn claddu eu perthynasau, a gwympent yn feirw, cyn gorphen y defodau angladdawl.‡ Yn awr fe ddifethwyd gan yr haint yma, yr hon a ddechreuodd gyd â'r boreuddydd, ac a barhäodd hyd awr giniaw, ddeng mil a thrugain.§ Ië, yr angel a estynodd ei law ar Jerusalem i fyned i'w dinystrio hi. Ond Dafydd a wisgasai am dano sachlïain, ac a orweddodd ar y ddaear, gan ymbil â Duw, a deisyfu fod i'r haint yn awr gael ei hattal, a boddloni o hono ef ar y nifer eisoes a ddifethasid. A phan edrychodd y brenin i fynu i'r awyr, a gweled yr angel yn myned ym mlaen trwyddi tu a Jerusalem, gyd a'i gleddyf noeth yn ei law; efe a lefodd ar Dduw, gan ddywedyd, Y gellid yn gyfiawn ei gospi ef ag ydoedd fugail y bobl, ond y dylai 'r defaid gael eu harbed, megis heb droseddu o honynt. Ac efe a ddeisyfodd fod i Dduw anfon ei lid arno ef, ac ar ei holl dŷ, ond bod iddo arbed y bobl.

* Wyth gan mil, 2 Sam. xxi. 4. 9. † Pum can mil.

‡ O ba le y cymmerodd Josephus yr hanes alaethus hon, am neillduol arwyddion, a dull truenus marwolethau o'r haint echryslon hon, nid ydym yn awr yn medru dywedyd, gan nad yw ein copiau eraill yn rhoddi dim o'r fath ddescrifiad.

§ 2 Sam. xxiv. 15.

Wedi i Dduw wrando ei erfyniadau, efe a barodd i'r haint gilio; ac a ddanfonodd Gad y prophwyd atto, gan orchymmyn iddo fyned i fynu yn ebrwydd i lawr-dyrnu Araunah y Jebusiad; ac adeiladu allor yno i Dduw, ac offrymmu aberthau arni. Pan glybu Dafydd hynny, nid esgeulusodd ei ddyledswydd, ond a frysiodd fyned i'r lle a ordeiniasid iddo. Yn awr Araunah ydoedd yn dyrnu gwenith; a phan welodd efe y brenin, a'i holl weision yn dyfod atto, efe a redodd i'w gyfarfod, ac a ymgrymmodd o'i flaen. Yr ydoedd efe wrth ei achau yn Jebusiad, ond yn gyfaill neillduol i Ddafydd; a'r achos o hynny oedd, pan ddadymchwelodd y ddinas, ni wnaeth niweid iddo ef, fel y darfu i ni eisoes hyspysu i'r darllennydd. Yn awr Araunah a ofynnodd, "Pa ham y daeth fy arglwydd at ei was?" Efe a attebodd, I brynu ganddo y llawr-dyrnu, fel yr adeiladai ynddo allor i Dduw, ac offrymmu aberth. Araunah a attebodd ei fod yn rhad-roddi iddo y llawr-dyrnu, a'r erydr, ynghyd â'r ychain yn boethoffrwm: ac efe a attolygodd ar Dduw yn raslawn i dderbyn ei aberth. Y brenin a ddywedodd ei fod yn cymmeryd ei haelioni, a'i fawrfrydigrwydd yn garedig, ac yn dderbyniol o'i ewyllys da: ond efe a ddymunodd arno gymmeryd pris am danynt oll; am nad oedd gyfiawn iddo ef offrymmu aberth yn ddi-gost. Ac wedi i Araunah ddywedyd am iddo wneud fel y gwelai yn oreu, efe a brynodd ganddo y llawr-dyrnu* am ddeg a deugain† o siclau. Ac wedi iddo adeiladu yr allor, efe a gwblhäodd y gwasanaeth dwyfol, gan ddwyn poeth-offrymmau, ac aberthu hedd-offrymmau. A'r rhai hyn Duw a heddychwyd, ac a ddaeth yn raslawn tu ag attynt drachefn. Yn awr fe ddigwyddodd ddarfod i Abraham ‡ddyfod ac aberthu ei fab Isaac yn boeth-offrwm yn gymmwys yn yr un lle; a phan oedd y llangc yn barod i gael torri gwythi ei waed, ymddangosodd hwrdd yn ddisymmwth yn sefyll wrth yr allor, yr hwn a aberthodd Abraham yn lle ei fab, fel o'r blaen yr adroddasom. Yn awr, wedi gweled o'r brenin Dafydd i Dduw wrando ei weddi, ac wedi derbyn yn raslawn ei aberth, efe a feddyliodd alw y lle hwnnw, yn Allor y bobl; ac adeiladu teml i Dduw yno. Pa ryw eiriau a adroddodd yn dra addas i'r hyn oedd i gael ei wneuthur yn ol hynny. Canys Duw a ddanfonodd y prophwyd atto gan ddywedyd wrtho, Mai yno yr adeiladid allor iddo gan ei fab.

## PENNOD XIV.

*Am yr arlwyad mawr a wnaethpwyd gan Ddafydd at dŷ Dduw; a'i appwyntiad o Solomon i deyrnasu, yn wrthwyneb i ymgais Adonïah i feddiannu 'r llywodraeth.*

AR ol traddodi 'r brophwydoliaeth hon, § y brenin a orchymmynodd i ddieithriaid gael eu cyfrif; a hwy a gafwyd yn un cant a phedwar ugain o filoedd. O'r rhai hyn yr appwyntiodd bedwar ugain o filoedd i fod yn naddwyr cerrig, ac eraill yn gludwyr cerrig; ac o honynt efe a osododd ar y gweithwyr dair mil a || phum cant. Efe hefyd a barottodd fesur mawr o haiarn a phres i'r gwaith, gyd â llawer o goed cedrwydd mawrion, ac â'r Tyriaid a'r Sidoniaid yn eu hanfon iddo: canys efe a ddanfonasai attynt am nifer helaeth o'r coed hyn. Ac efe a ddywedodd wrth ei gyfeillion fod y pethau hyn yn awr wedi eu parottoi, fel y gadawai o'i ol ddefnyddiau parod at adeiladaeth y deml gan ei fab, yr hwn oedd i deyrnasu ar ei ol ef; fel na byddent i'w ceisio y pryd hynny ganddo ef, pan nad ydoedd ond ieuangc, ac ar gyfrif ei oedran yn anneallus yn y cyfryw fatterion; ond y byddai iddo eu cael yn gorwedd gerllaw iddo, ac felly

*Chwe chan sicl o aur, 1 Cron. xxi. 25.

†Mynydd y tŷ, neu fynydd Moriah, wrth fesurau Mr. Maundrel, t. d. 105, ydoedd ynghylch pum cant, ac un ar ddeg a thrugain o gufyddau o led; ac ynghylch naw cant a phedwar ugain cufydd o hyd—pymtheg ar hugain o acrau neu gyfeiriau, yr hyn os oedd yn perthynu i gyd i Araunah, a allai yn dda fod yn werth y chwe chan siclau hynny o aur, neu 125 punt. Yr hyn sydd gennym, 1 Cron. xxi. 25. a rhan fechan o hono gyd â'r ychain a'r offerynnau, a fyddai'n llawer mwy o werth na'r deg â deugain siclau hynny o arian---5 p. 18s. Yr hyn sydd gennym, 2 Sam. xxiv. 24. ynghyd âg yma. Felly y rhifedi mwyaf yn y Croniclau yw, mewn pob tebygoliaeth, y nifer gywiraf.

‡Yr hyn y mae Josephus yn ei chwanegu yma, pa un ai o'r copi oedd ganddo o 2 Sam. xxiv. 25. neu o'r 1 Cron. xxvi. 26,---30. neu o leoedd eraill perthynol i hanesiad Dafydd, pa un a ddangoswyd eisoes, VII. 4. sydd dra hynod; sef, mai y mynydd Moriah hwn ydoedd, nid yn unig y lle yr aberthodd Abraham ei fab Isaac ynddo yr amser gynt; ond i Dduw ragfynegi wrth Ddafydd, trwy 'r prophwyd, mai yma yr adeiladid teml iddo gan ei fab; yr hyn ni chanfyddir yn un o'n copiau eraill, er ei fod yn dra chyttûn â'r hyn a gynnwysant; yn enwedig yn y 1 Cron. xxi. 26, 28. a'r xxii. 1. at ba ryw leoedd yr wyf yn cyfeirio 'r darllennydd.

§ Ynghylch Bl. 1057. || Tri chant, 1 Bren. v. 16.

y gallid trwy hynny yn hwylusach gwblhau y gwaith.

Felly Dafydd a alwodd ei fab Solomon, ac a archodd iddo, pan etifeddai 'r deyrnas, i adeiladu teml i Dduw: ac a ddywedodd, "Yr oeddwn yn ewyllysio adeiladu i Dduw deml fy hun; ond efe a'm gwaharddodd, o herwydd fy halogi â gwaed rhyfeloedd; ond efe a ragfynegodd, mai Solomon, fy mab ieuangaf, a adeiladai deml iddo, ac y gelwid hi wrth yr enw hwnnw. Tros ba un yr addawodd gymmeryd y cyfryw ofal, a thad tros ei fab; ac y gwnai wlad yr Hebreaid yn ddedwydd tano ef; a hynny nid yn unig mewn ystyriaethau eraill, ond trwy roddi iddi heddwch a rhyddid oddiwrth ryfeloedd, ac oddiwrth ymbleidiad tu-fewnol, yr hyn yw 'r mwyaf o'r holl fendithion. Yn gymmaint a'th fod di, gan hynny, cyn dy eni, wedi dy ordeinio yn frenin gan Dduw ei hun, ymdrecha i ymddwyn dy hun yn deilwng o'i ragluniaeth hon; megis mewn pethau eraill, felly yn enwedig trwy fod yn grefyddol ac yn hyderus. Cadw hefyd ei orchymmynion a'i gyfreithiau a roddodd i Moses, ac na oddef i eraill eu torri hwynt. Bydd ofalus hefyd i gyssegru teml i Dduw, yr hon a ddewisodd fod iddi gael ei hadeiladu dan dy deyrnasiad di. Ac na ddychryner di gan ehangder y gwaith; ac na ymosod atto yn amhëus. Canys myfi a osodaf bob peth mewn parodrwydd cyn fy marw. A chymmer sulw, fod eisoes ddeng mil o dalentau o aur, a chan talent o arian * wedi eu casglu ynghyd. Myfi hefyd a ddodais ynghyd bres a haiarn heb fesur, a rhifedi annrhaethol o breniau a cherrig nadd. Ymhellach y mae gennyt amryw filoedd o seiri coed a meini. Ac os byddi mewn diffyg o un peth yn rhagor, chwaneger hynny gennyt dy hun. Canys os cwblhai y gwaith hwn, ti a fyddi gymmeradwy gan Dduw, a chai ef i ti yn amddiffynydd." Dafydd hefyd ymhellach a annogodd lywodraethwyr y bobl i gynnorthwyo ei fab yn yr adeiladaeth yma, ac i ddyfal arferyd y gwasanaeth dwyfol pan ryddheid hwynt oddiwrth bob blinderau: canys trwy 'r moddion hynny y mwynhaent, yn lle terfysgoedd, heddwch a dedwyddol sefydliad: â'r cyfryw fendithion y gwobrwya Duw genedl grefyddol a chyfiawn. Efe hefyd a roes orchymmyn, pan adeiladid y deml, ar ddodi o honynt yr arch ynddi, gyd â'r dodrefn cyssegredig; ac efe a sicrhäodd y dylasai fod teml ganddynt er's amser hir, pe na buasai eu tadau yn esgeulus o orchymmynion Duw; yr hwn a archasai, pan ddeuent i feddianu 'r tir hwn, ar adeiladu o honynt iddo deml. Fel hyn yr ymddiddanodd Dafydd â'r llywodraethwyr, ac â'i fab.

Dafydd ydoedd yn awr mewn blynyddau, a'i gorph trwy feithder amser wedi myned yn egwan ac yn ddiwres; yn gymmaint na's gallai gael dim cynnesrwydd wrth ddilladu ei hun â llawer o wisgoedd. Ac wedi dyfod y physygwyr ynghyd, cyttunasant ar geisio llangces ieuangc, deg yr olwg, wedi ei dewis o holl wlad Israel, i gysgu wrth ochr y brenin, fel y byddai iddi gyfrannu gwres iddo, a bod yn feddyginiaeth i annhymmerusrwydd ei gnawd. Yn awr fe gafwyd yn y ddinas un ddynes o degwch rhagorol; ei henw ydoedd Abishag, yr hon wrth gysgu gyd â'r brenin a gyfrannodd gynnhesrwydd iddo. Ond am y ddynes hon cawn lefaru ychwaneg rhagllaw.

Yn awr, pedwerydd fab Dafydd ydoedd ŵr ieuangc prydweddol, wedi ei eni iddo o Haggith † ei wraig. Efe a enwid Adonïah, ac ydoedd yn ei ymddygiad yn debyg i Absalom, gan ymdderchafu ei hun mewn gobaith o fod yn frenin; a dywedyd wrth ei gyfeillion y dylai gymmeryd y llywodraeth arno. Efe hefyd a barottodd gerbydau a meirch, a deng-wr a deugain i redeg o'i flaen.‡ Pan welodd ei dad hyn, ni cheryddodd ef, ac ni attaliodd ef oddiwrth ei arferiad, ac nid aeth cyn belled a gofyn pa ham yr ydoedd yn gwneuthur felly. Yn awr yr ydoedd i Adonïah yn gynnorthwywyr, Joab cadben y filwriaeth, ac Abiathar yr archoffeiriad. A'r unig bersonau a'i gwrthwynebodd oedd

* Am y mesur o aur ac arian a ddefnyddiwyd yn adeiladaeth teml Solomon, ac o ba le y cyfododd, gwelwch yn y desgrifiad o'r temlau, pen. 13. Ac o neillduol rannau y deml honno, gwelwch bennodau eraill o'r desgrifiad hwnnw yn perthynu i'r unrhyw.

† 2 Sam. iii. 4.

‡ Ynghylch Bl. 1058.

Sadoc yr archoffeiriad, Nathan y prophwyd, a Benaiah cadben y llu, a Shimei cyfaill Dafydd, gyd a'r holl wŷr cedyrn eraill. Yna yr oedd Adonïah wedi parottoi gwledd allan o'r ddinas, yn agos i'r ffynnon oedd ym mharadwys y brenin, ac a wahoddasai ei holl frodyr oddigerth Solomon; gan gymmeryd gyd ag ef Joab, pennaeth y fyddin, ac Abiathar, a llywodraethwyr llwyth Judah; ond ni wahoddasai i'r wledd hon Sadoc yr archoffeiriad, Nathan y prophwyd, na Benaiah blaenor y llu, na neb o'r blaid wrthwynebol honno. Y matter hwn a adroddwyd gan Nathan i Bathsheba, mam Solomon; sef fod Adonïah yn frenin, ac na's gwyddai Dafydd ddim oddiwrtho: ac efe a'i cynghorodd hi i fyned ac achub ei hun, a'i mab Solomon, gan fyned i mewn wrthi ei hun o flaen Dafydd, a dywedyd wrtho, iddo mewn gwirionedd dyngu mai Solomon a deyrnasai ar ei ol ef; ond ddarfod yn y cyfamser i Adonïah eisoes gymmeryd meddiant o'r deyrnas. Dywedodd y deuai efe, sef y prophwyd ei hun, i mewn ar ei hol; ac wedi iddi lefaru fel hyn wrth y brenin, y byddai iddo yntau gadarnhau ei geiriau. Yn ganlynol Bathsheba a gydsyniodd â Nathan, ac a aeth i mewn at y brenin, gan ymgrymmu iddo; ac wedi iddi gael cennad i lefaru wrtho, hi a adroddodd y cwbl a ddywedasid wrthi gan Nathan, mewn perthynas i ba fath wledd a wnaethai Adonïah, a phwy oeddynt hwy y rhai a wahoddasid fel ei gyfeillion mynwesol. Hi a ddywedodd hefyd fod llygaid yr holl bobl arno ef, i wybod pwy a ddewisai yn frenin. Hi a ddymunodd iddo hefyd ystyried, y modd ar ol ei ymadawiad, y difethid hi a'i mab Solomon.

Yn awr fel yr oedd Bathsheba yn llefaru, ceidwaid ystafell y brenin a ddywedasant fod Nathan yn ewyllysio ei weled ef. Ac wedi i'r brenin orchymmyn ei adael i ddyfod i mewn, efe a ddaeth, ac a ofynodd iddo, A ydoedd wedi ordeinio Adonïah i fod yn frenin, a throsglwyddo 'r llywodraeth iddo ef, ai nid oedd? oblegid ei fod ef wedi gwneuthur gwledd odidog, ac wedi gwahodd ei holl frodyr iddi ond Solomon; megis hefyd wahodd o hono Joab, pennaeth y llu, ac Abiathar yr archoffeiriad, y rhai oeddynt yn cydwledda yn gyssurus, a chyd â sain offerynau soniarus; gan ddymuno i'r deyrnas barhau yn dragywydd. "Ond," ebe Nathan, "nis gwahoddodd fi, na Sadoc yr archoffeiriad, na Benaiah, cadben y llu. Ac nid yw ond gweddus i bawb wybod a wnaethpwyd hyn trwy dy gydsyniad di, ai nis gwnaethpwyd." Wedi i Nathan ddywedyd hyn, y brenin a orchymmynodd alw o honynt Bathsheba atto ef; canys hi a aethai allan o'r ystafell ar ddyfodiad y prophwyd i mewn. Ac wedi dyfod Bathsheba, dywedodd Dafydd, "Yr wyf yn tyngu trwy 'r Duw Hollalluog, mai dy fab Solomon yn sicr a fydd frenin, megis y tyngais o'r blaen; ac y dodir ef i eistedd ar fy ngorseddfaingc y dydd hwn." Felly Bathsheba a ymgrymmodd, ac a ddymunodd iddo hir ddyddiau: a'r brenin a ddanfonodd am Sadoc yr archoffeiriad, a Benaiah, blaenor y llu; ac wedi eu dyfod hwy, efe a archodd iddynt gymmeryd Nathan y prophwyd, a'r holl wŷr arfog o amgylch y llŷs, a gosod ei fab Solomon ar fules y brenin; a'i ddwyn allan o'r ddinas hyd at y ffynnon a elwid Gihon, a'i enneinio yno â'r olew sanctaidd, a'i wneuthur yn frenin. Hyn a archodd i Sadoc yr archoffeiriad, a Nathan y prophwyd ei wneuthur; ac a orchymmynodd iddynt ddilyn Solomon trwy ganol y ddinas, gan swnio yn yr udgyrn, a dymuno â llef uchel fod "i Solomon y brenin eistedd ar yr orsedd frenhinol yn dragywydd;" a bod i'r holl bobl wybod ei ordeinio gan ei dad yn frenin. Efe hefyd a roddes orchymmyn i Solomon ynghylch y llywodraeth, i reoli holl genedl yr Hebreaid, ac yn enwedig llwyth Judah, yn gyfiawn. Ac wedi i Benaiah weddio ar Dduw i fod yn raslawn i Solomon, hwy a'i gosodasant ar y fules, ac a'i dygasant allan o'r ddinas hyd y ffynnon, ac a'i heneiniasant â'r olew; ac yn ol hynny a'i dygasant i mewn drachefn i'r ddinas gyd â llefau uchel, a dymuniadau fod i'w deyrnas hir barhâd. Ac wedi ei ddwyn i mewn i dŷ 'r brenin, hwy a'i gosodasant ar yr orseddfaingc. Ar ba achos yr holl bobl a ymwnaethant i gyd-lawenhau, a chadw gwyl; dawnsio, a difyrru eu hunain ag offerynau cerdd, nes bod y ddaear a'r awyr yn dadseinio â'u lleisiau ac â swn gorfoledd y llïaws.

Yna, pan glybu Adonïah a'i wahoddedigion y swn yma, yr oeddynt mewn cythrwfl; a Joab pennaeth y llu a ddywedodd nad oedd yr adsain hono, a swn yr udgyrn yn ei foddhau ef: ac wedi i swpper gael ei osod o'u blaen, ni phrofodd neb o hono, ond yr oeddynt oll yn dra thrallodedig, gan ystyried beth a allai fod yr achos o'r terfysg. Yna Jonathan, mab Abiathar yr archoffeiriad a ddaeth dan redeg attynt; a phan ganfu Adonïah y gwr ieuangc yn llawen, a chan ddywedyd wrthynt mai negeseuwr da ydoedd ef; efe a adroddodd yr holl achos ynghylch Solomon, a phenderfyniad y brenin Dafydd am dano. Ar hyn Adonïah a'i holl wahoddwyr a godasant yn ddisymmwth oddi wrth y wledd, a phawb a ffoisant i'w cartrefi eu hunain. Adonïah hefyd megis yn arswydo 'r brenin, oblegid yr hyn a wnaethai, a aeth i ymbil â Duw, ac a ymaflodd ynghyrn yr allor, y rhai oeddynt yn gogwyddo allan. Dywedwyd hefyd i Solomon ei fod yn gwneuthur hynny, a'i fod yn deisyfu cael sicrwydd ganddo, na chofiai y trosedd a wnaethai, i osod cospedigaeth dostlym arno am yr unrhyw. Solomon a attebodd yn dyner ac yn gall, ei fod yn maddeu iddo y trosedd hwnnw; ond er hynny a ddywedodd, os caed ef yn ymdrechu am ryw uchelfraint newydd, y byddai yn awdwr ei ddinystr ei hun. Felly efe a ddanfonodd atto, ac a'i gollyngodd o le ei erfyniadau. Ac wedi ei ddyfod o flaen y brenin, ac ymgrymmu iddo, y brenin a barodd iddo fyned ymaith i'w dŷ ei hun, a pheidio ag ofni niweid; ac a ddymunodd iddo ddangos ei hun yn ddyn teilwng o'i barchu, megis y peth a dueddai i'w fantais ei hun.

Ond a Dafydd yn ewyllysio ordeinio ei fab yn frenin ar yr holl genedl, a alwodd ynghyd eu llywodraethwyr i Jerusalem, gyd â'r offeiriaid a'r Lefiaid. Ac wedi cyfrif yn gyntaf y Lefiaid, efe a'u cafodd yn ddeunaw mil ar hugain, o ddeg ar hugain hyd yn ddeg a deugain mlwydd o oedran. Allan o ba rai efe a appwyntiodd dri ar hugain o filoedd i ofalu dros adeilad y deml; ac allan o'r unrhyw chwe mil i fod yn farnwyr y bobl, ac yn ysgrifennyddion; pedair mil yn borthorion tŷ Dduw, a chynnifer yn gantorion, i gyd-ganu â'r offerynnau a barottoisai Dafydd. Efe a'u rhannodd hefyd yn gylchoedd: ac wedi gwahaniaethu 'r offeiriaid oddiwrthynt, efe a gafodd o'r offeiriaid hynny bedwar ar hugain o gylchoedd; un ar bymtheg o dŷ Eleazar, ac wyth o'r eiddo Ithamar; ac efe a ordeiniodd fod i un cylch weini i Dduw wyth niwrnod, o Sabboth i Sabboth. Ac fel hyn y dosparthwyd y dyddgylchoedd wrth goelbren, ymhresennoldeb Dafydd, a Sadoc, ac Abiathar yr archoffeiriad, a'r holl lywodraethwyr. A'r cylch hwnnw a ddeuai i fynu yn gyntaf, a ysgrifennwyd i lawr megis y cyntaf; yn ganlynol yr eilfed, ac felly ym mlaen hyd bedwar ar hugain. A'r dosparthiad yma a arosodd hyd y dydd hwn. Efe hefyd a wnaeth bedwar dosparth ar hugain o lwyth Lefi; a phan fwrient goelbrennau, hwy a ddeuent i fynu yn yr un modd, yn ol eu cylchoedd o wyth niwrnod. Efe hefyd a anrhydeddodd hiliogaeth Moses, ac a'u gwnaeth yn geidwaid ar drysorau Duw, ac o'r anrhegion a roddai 'r brenhinoedd i'w cyssegru. Efe hefyd a ordeiniodd fod i holl lwyth Lefi, yn gystal a'r offeiriaid, wasanaethu Duw ddydd a nos, fel y gorchymmynasai Moses iddynt.

Ar ol hyn efe a ddosparthodd y fyddin yn ddeuddeg rhan, gyd â'u harweinwyr, a'u cadbeniaid o gannoedd, a blaenoriaid eraill. Yn awr yr oedd i bob rhan neu ddosparth bedwar ar hugain o filoedd, y rhai a ordeiniwyd i wylio ar Solomon, wrth y deng niwrnod ar hugain ar y tro, o'r dydd cyntaf hyd y diweddaf; gyd â chadbeniaid ar filoedd a chadbeniaid ar gannoedd. Efe hefyd a osododd lywodraethwyr ar bob rhan neu ddosparth, o'r cyfryw ag a wyddai eu bod yn ddynion da a chyfiawn. Efe a drefnodd eraill hefyd i gymmeryd gofal y trysorau, ac o'r pentrefi, a'r maesydd, a'r anifeiliaid. Wedi i Ddafydd drefnu 'r holl swyddau hyn yn ol y dull a grybwyllwyd; efe a alwodd am lywodraethwyr yr Hebreaid, a phennau eu llwythau, a'r swyddogion ar yr amrywiol ddosparthau, a'r rhai a appwyntiwyd yn olygwyr ar bob gwaith, a phob etifeddiaeth; a chan sefyll ar areithfa uchel, efe a ddywedodd wrth y lliaws: "Fy mrodyr, a'm pobl, dymunwn i chwi wybod

fy mod yn amcanu adeiladu tŷ i Dduw; wedi parottoi mesur mawr o aur, a chan mil o dalentau o arian. Ond Duw a waharddodd i mi trwy y prophwyd Nathan, oblegid y rhyfeloedd y bum ynddynt ar eich cyfrif chwi, ac o herwydd fod fy neheulaw wedi ei halogi â lladdfa ein gelynion. Ond efe a orchymmynodd fod i'm mab, yr hwn am dilynai yn llywodraeth y deyrnas, adeiladu teml iddo ef. Yn awr, gan hynny, gan eich bod yn gwybod am y deuddeg mab oedd gan ein cyndad Jacob, Judah a appwyntid i fod yn frenin; ac i mi gael fy newis o flaen fy chwech brodyr, a derbyn y llywodraeth oddi wrth Dduw; ac na flinwyd neb o honynt o'i herwydd: felly fy nymuniad innau ydyw, na byddo i'm meibion ymryson y naill yn erbyn y llall, a Solomon yn awr wedi etifeddu 'r deyrnas, ond ei addef yn llawen yn arglwydd iddynt, gan wybod fod Duw wedi ei ddewis ef. Canys nid yw anghymmwys ufuddhau i ddieithr-ddyn fel llywodraethwr, os bydd yn ol ewyllys Duw; ond y mae 'n naturiol i lawenhau pan fo brawd wedi derbyn yr uchelfraint honno, gan fod y lleill yn cyfrannogi o honi gyd ag ef. Ac yr wyf yn gweddio fod i addewidion Duw gael eu cyflawni; a bod i'r dedwyddwch hwn a addawodd efe gyfrannu i'r brenin Solomon, dros yr holl wlad, barhau ynddi dros amser i ddyfod. A'r addewidion hyn, O fab! a fyddant sicr, ac a ddeuant i ddiben dedwyddol, os dangosi dy hun yn grefyddol, ac yn ddyn cyfiawn, ac yn gwneuthur sulw o gyfreithiau dy wlad. Ac os na wnei, disgwyl am adfyd ar dy anufudd-dod iddynt."

Yn awr, wedi i'r brenin ddywedyd hyn, efe a adawodd heibio; ond a roddodd battrwm a descrifiad o adeiladaeth y deml, yn eu golwg hwy oll, i Solomon: am y sylfeini, ac am yr ystafelloedd, isaf ac uwchaf. Pa nifer oedd i fod o honynt, a pha mor gymmaint mewn lled ac uchder: ac hefyd efe a benderfynodd ynghylch pwysau y llestri o aur ac o arian. Ymhellach efe a'i cymmellodd yn ddifrifol â'i eiriau i arferyd y diwydrwydd mwyaf ynghylch y gwaith: efe a gynghorodd y llywodraethwyr hefyd, yn enwedig llwyth Lefi, o herwydd ei ieuengctid, ac o herwydd ei ddewis gan Dduw i gymmeryd gofal adeiladaeth y deml, a llywodraethiad y deyrnas. Efe a sicrhäodd na fyddai'r gwaith yn flin neu anhawdd iddynt, o herwydd parrottoi o hono ef tu ag atto amryw dalentau o aur, a mwy o arian, gyd â phrennau, a llawer o seiri coed a cherig; mesur helaeth o emerald, a phob math o feini gwerthfawr: ac efe a ddywedodd y rhoddai y pryd hynny o eiddo priodol ei lywodraeth ei hun ddau cant o dalentau; a thri chant o dalentau eraill o aur pur tu ag at y lle sancteiddiolaf; a llun cerbyd Duw, y cerubiaid y rhai sydd i sefyll goruwch, ac i orchuddio 'r arch. Yn awr wedi darfod i Ddafydd lefaru, ymddangosodd ewyllysgarwch mawr ym mysg y llywodraethwyr, yr offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai yn awr a gyfrannasant, gan addaw cyfrannu rhagllaw. Canys hwy a ymrwymasant i ddwyn i mewn aur o bum mil o dalentau, a deng mil dram, ac o arian, deng mil o dalentau, ac amryw filoedd o dalentau o haiarn. Ac os byddai gan neb faen gwerthfawr, efe a'i dygai i mewn i blith y trysorau; o ba rai Jehiel, un o hiliogaeth Moses, oedd â'u gofal arno.

Ar yr achos yma yr holl bobl a lawenychasant, megis yr oedd Dafydd yn neillduol felly, pan welodd sêl ac awyddfryd y llywodraethwyr, a'r offeiriaid, a phawb eraill. Ac efe a ddechreuodd fendithio Duw â llef uchel, gan ei alw yn dad a dechreuad y greadigaeth, ac awdwr pethau dwyfol a dynol, â pha rai yr addurnasai Solomon, llywydd ac amddiffynnydd y genedl Hebreaidd, a'u prif happusrwydd, a threfnwr y deyrnas a roddasai efe i'w fab. Heblaw hyn, efe a weddiodd am ddedwyddwch i'r holl bobl; ac i Solomon ei fab feddwl uniawn a chyfiawn mewn pob math o rinwedd: ac yna efe a orchymmynodd i'r dyrfa fendithio Duw. Ar hynny hwy oll a syrthiasant i lawr ar y ddaear, ac a'i haddolasant ef. Hwy hefyd a ddiolchasant i Ddafydd ar gyfrif yr holl fendithion a dderbyniasant er pan gymmerasai ofal y deyrnas. Ar y dydd nesaf efe a offrymmodd aberthau i Dduw, mil o ychain, a chynnifer o wyn defaid, y rhai a aberthasant yn boeth offrymmau. Hwy hefyd a offrymmasant offrymmau hedd, ac a laddasant

amryw ddeg miloedd o aberthau; a'r brenin a wleddodd trwy 'r holl ddiwrnod gyd â'r bobl: a hwy eneiniasant Solomon yr ail waith â'r olew, ac a'i pennodasant yn frenin; a Sadoc i fod yn archoffeiriad i'r holl lïaws. A phan ddygasant Solomon i'r tŷ brenhinol, a'i osod ar orseddfaingc ei dad, hwy a fuont ufudd iddo o'r dydd hwnnw.

## PENNOD XV.

*Am y Gorchymmyn a roddodd Dafydd i'w fab Solomon, ar agoshâd ei farwolaeth; ac am y Defnyddiau a adawodd efe tu ag at adeiladu y Deml.*

WEDI i ychydig amser fyned heibio yn ol hyn, * Dafydd a syrthiodd i afiechyd o herwydd ei oedran; ac wrth ganfod ei hun yn agoshau i'w farwolaeth, efe a alwodd ei fab Solomon, ac a lefarodd wrtho y modd hwn: "Yr wyf yn awr, O fy mab! yn myned i'm bedd, ac at fy nhadau; yr hon yw ffordd holl ddynol ryw; ar hyd pa un y mae'n rhaid i ni fyned, y sydd, neu a ddaw yn ol hyn: o ba ryw ffordd nid yw bossibl dychwelyd mwy, ac i wybod am ddim a wnelir yn y byd hwn. Yr wyf gan hynny yn dy gynghori, tra'r wyf etto yn fyw, er fy mod eisoes yn agos i angau, yn yr un modd ag y dywedais yn fy nghyngor o'r blaen wrthyt, i fod yn gyfiawn tu ag at dy ddeiliaid, ac yn grefyddol tu ag at Dduw, yr hwn a roddes i ti dy deyrnas; i wneuthur sulw o'i orchymmynion, a'i gyfreithiau, y rhai a anfonodd i ni trwy Moses; ac na fydded i ti o ffafr neu o weniaith, oddef i un chwant neu nwyd dy ogwyddo di i'w diystyru hwynt: canys os troseddi di yn erbyn ei gyfraith, ti a golli ffafr Duw, ac a droi ymaith ei ragluniaeth oddi'wrthyt ym mhob peth. Ond os ymddygi dy hun felly fel ag yr wyf yn dy gynghori di, ti a gynheli dy deyrnas i'n hiliogaeth, ac ni fydd i un teulu arall lywodraethu ar yr Hebreaid, ond nyni ein hunain ymhob cenhedlaeth. Bydded i ti hefyd gofio trosedd † Joab, cadben y filwriaeth, yr hwn a laddodd ddau bennaeth o gynfigen tu ag attynt, a'r rhai hynny yn ddynion da a chyfiawn, Abner fab Ner, ac Amasa mab Jether; marwolaethau ý rhai bydded i ti ei ddïal yn y modd y gwelych yn oreu: yn gymmaint ag i Joab fod yn rhy galed i mi, ac yn fwy gallnog na fy hun, ac felly hyd yma a ddiangodd rhag cospedigaeth. Yr wyf hefyd yn gorchymmyn i ti feibion Barsilai y Gileadiad, y rhai mewn trefn i'm boddloni a gyfrifi yn anrhydeddus, gan ofalu am danynt hwy. Canys ni wnaethom ddaioni iddo ef yn gyntaf, ond yr ydym yn unig yn talu yn ol y ddyled oedd arnom i'w tad, am yr hyn a wnaeth efe i mi yn fy ffoedigaeth. Y mae hefyd Shimei mab Gera, o lwyth Benjamin, yr hwn yn ol iddo fwrw gwaradwyddiadau arnaf, pan ar fy fföad yr oeddwn yn myned i Mahanaim, a'm cyfarfyddodd wrth yr Iorddonen, ac a dderbyniodd sicrwydd, na ddioddefai ddim yr amser hwnnw. Cais di gan hynny yn awr ryw achos cyfiawn i'w erbyn, a chospa ef.

Wedi i Dafydd roddi y cyfarwyddiadau hyn i'w fab ynghylch achosion cyhoeddus, ac ymherthynas i'r rhai a wyddai eu bod yn haeddu marwolaeth, efe a fu farw; wedi byw ddeng mlynedd a thrugain, ‡ a theyrnasu saith mlynedd a chwe mis yn Hebron, ar lwyth Judah; a thair blynedd ar ddeg ar hugain ar yr holl wlad, yn Jerusalem. I'r gwr hwn yr ydoedd geirda rhagarol, ac a gynnysgaeddwyd â phob rhinweddau dymunol mewn brenin; ac mewn un oedd ag amddiffynniad cynnifer o lwythau wedi ei ymddiried iddo. Canys yr oedd yn un o wrolder

---

* Bl. 1056.

† Dafydd, gan rai, ydoedd i feio arno yma, am annog cospedigaeth Joab a Shimei gan Solomon, pan gaffai achlysur i hynny, yn ol iddo ei hun gyd-ddwyn â'r cyntaf tros hir amser; ac a ymddangosodd megis wedi pardynu y llall yn hollol; yr hyn a gwblhaodd Solomon yn gyfattebol. Er hynny nid wyf fi yn canfod un bai yn Dafydd na Solomon, yn yr achosion hyn. Mwrddrad Abner ac Amasa gan Joab ydoedd dra chreulon, ac ni ellid yn briodol ei faddeu gan Dafydd na Solomon. Canys nid yw esgusodiad y ddrwg-weithred o fwrddrad gwirfoddol, trwy awdurdod frenhinol, yn cael ei gadarnhau gan gyfraith Dduw, nag ê, ond sydd yn gwbl i'w herbyn ym mhob lle. Ac nid yw yngallu dynion i ganiattau y fath ragorfraint i neb o'u brenhinoedd. Er bod Joab mor nesed o berthynas i Ddafydd, ac mor alluog yn y fyddin tan oruchwyliaeth o ryfeloedd, fel na's gallai Dafydd ei hun ei ddodi i farwolaeth; fel y dywed yma, ac yn 2 Sam. iii. 39. a'r xix. 7. Shimei yn melldithio enneiniog yr Arglwydd, a hynny heb un achos cyfiawn, ydoedd weithred bennaf o deyrnfradwriaeth yn erbyn Duw, a'i enneiniog frenin; ac ydoedd yn cyfiawn haeddu marwolaeth. Ac er y gallai Dafydd faddeu teyrnfradwriaeth i'w erbyn ei hun; etto pe buasai heb wneuthur ychwaneg i Shimei na rhoi addewid iddo, na fyddai iddo y pryd hynny, ar ddydd ei ddychweliad i'w deyrnas, neu ar yr achos hwnnw, ei roddi ei hun i farwolaeth, 2 Sam. xix. 22. ac ni thyngodd iddo ddim ymhellach, adn. 23. megis y mae 'r geiriau yn Josephus, nac na fyddai iddo ei roddi i farwolaeth y pryd hynny, yr hyn a gyflawnodd. Ac nid oedd Solomon tan un rhwymedigaeth i arbed y fath deyrnfradwr.

‡ O'r Fl. 1126 hyd 1056, C. C.

i raddau rhagorol; ac yn barod i fyned yn flaenaf i beryglon, pan yn ymladd dros ei ddeiliaid; ac megis yn cynhyrfu ei filwyr i weithredu wrth ei lafur ei hun, a'i waith yn ymladd drostynt; ac nid trwy eu gorchymmyn hwy mewn dull arglwyddiaethol. Yr oedd efe hefyd yn un o gymmwysderau mawr i amgyffred amgylchiadau yr amser presennol a'r un i ddyfod, pan ydoedd yn trefnu rhyw achosion. Yr ydoedd yn bwyllog, cymhedrol, a charedig i'r rhai a fyddai tan ryw drallodion: yr oedd hefyd yn gyfiawn, ac yn meddiannu dynoliaeth; y rhai ydynt gynneddfau canmoladwy, yn enwedig mewn brenhinoedd: ac nid oedd yn euog o unrhyw drosedd yn yr ymarferiad o'r fath awdurdod, ond yn yr achos ymherthynas i wraig Urïas. Efe hefyd a adawodd o'i ol gyfoeth mwy nac un brenin arall ar yr Hebreaid, neu unrhyw genedl o amgylch.

Efe a gladdwyd gan ei fab Solomon yn Jerusalem, yn barchus, a chyd â mawredd * perthynol i angladdau brenhinoedd. Ymhellach, cafodd llawer o gyfoeth ei gladdu gyd ag ef, helaethrwydd pa un a ellir ei ddychymmygu oddiwrth yr hyn a gaf yn awr ei adrodd: Ym mhen mil † a thri chant o flynyddoedd yn ol hynny, Hyrcanus yr archoffeiriad, wedi gwarchae arno gan Antiochus, a elwid y duwiol, mab Demetrius, yr hwn ydoedd yn ewyllysio rhoi arian iddo, i beri iddo godi 'r cynllwyn, a thynnu ymaith ei fyddin; ac heb ganddo un ffordd arall i gael arian, efe a agorodd un ystafell o feddrod Dafydd, ac a gymmerodd allan oddi yno dair mil o dalentau; ac a roddodd ran o'r swm honno i Antiochus, a thrwy 'r moddion hynny a barodd i'r cynllwyn gael ei symmud. Ië, ym mhen llawer o flynyddoedd wedi, Herod y brenin a agorodd ystafell arall, ac a ddygodd ymaith fesur mawr o arian: ac etto ni ddaethai un o honynt yn agos at eirch y brenhinoedd eu hunain: canys eu cyrph a gleddid tan y ddaear mor gelfyddus, fel nad ymddangosent i'r rhai a aethant i mewn i'w beddau. ‡ Ond cymmaint a hyn a gaiff wasanaethu am y matterion yma.

---

# LLYFR VIII.

*Yn cynnwys Amseriad o Gant a thair a thrugain o Flynyddau.*

## O FARWOLAETH DAFYDD HYD FARWOLAETH AHAB.

### PENNOD I.

*Am ymddygiad Solomon yn ol etifeddu y Deyrnas.*

YR ydym eisoes wedi traethu am Dafydd a'i rinweddau, a'r daioni a fuasai 'n awdwr o hono i'w gydwladwyr: am ei ryfeloedd hefyd a'i frwydrau, y rhai a ymarferodd efe gyd â llwyddiant, ac yn ol hynny fu farw yn oedrannus. Ac wedi i Solomon ei fab, yr hwn nid oedd ond bachgennyn § mewn oedran, gymmeryd

---

* 1 Bren. ii. 10. 1 Cron. xxix. 26---30.

† Yn lle 1300 o flynyddau, yr ydym yma, yn ol amseryddiaeth Josephus ei hun, i ddarllen 980, neu, o'r hyn bellaf, yn ol y cyfrifiad helaethaf 1000 o flynyddau: ond am feddyliau rhai, megis fod claddiad y fath gyfoeth yn, neu yn agos i feddrod Dafydd yn beth anghredadwy; ni fedraf ond rhyfeddu wrth wŷr cyfrifol, pan y maent yn gosod gwag ddychymmygion i wrthwynebu y dystiolaeth fwyaf awdurdodol sydd gennym am yr hanesion hyn, a hynny o awdwyr cydoesol goreu. Gwel XIII. 8. XIV. 7. Am y Rhyf. I. 2. Coff. Awd. Rhan I. t. d. 207.

‡ Yr wyf yn barnu am y beddau mawrwych hynny yn y gogledd orllewin, yn awr y tu allan, ond ysgatfydd gynt y tu fewn i furiau Jerusalem, ac a elwir etto beddau y brenhinoedd, ydyw y lle ag y bu i Ddafydd, a chynnifer eraill o frenhinoedd Israel gael eu claddu: ac yn rhai o'r ystafelloedd hynny, a'r nad ydynt ychydig mewn nifer, y dichon y trysorau hyn fod yn awr yn guddiedig; ac allan o ba rai y bu i fesurau helaeth yn ol hynny gael eu cymmeryd; yn sicr gan Hyrcanus, ac yn dra thebygol gan Herod y mwyaf hefyd. Gwel Hynaf. XIII. 8. XVI. 7. Sandys, t. d. 175. Thevenot, Rh. I. Ll. II. pen. 40. Prid. ar y fl. 699. Maundrel, t. d. 75, 76, 77. a'r nod ar Hynaf. VII. 3. ac ar XVII. 11. gyd â'r Coffad. Awdur. Rh. I. t. d. 207. Gwrthddadleuon Dr. Prideaux ydynt yn bennaf wedi eu hadeiladu ar y tŷb hwn, fod yn rhaid i'r trysor ehang yma a ddodwyd ym meddrod Dafydd, fod yn adnabyddus fyth ar ol hynny: pan y mae 'n fwy tebygol na wybuwyd am dano, nes i Hyrcanus, yn ei gyfyngder ei ddatguddio, a chymmeryd allan 3000 o dalentau. Ac ysgatfydd na wybuwyd yn ol hynny i Hyrcanus adael dim o'i ol, nes i Herod wrth chwilio o amgylch pob man am arian, o'r diwedd gyfarfod â'r gweddillion hynny hefyd, a'u cymmeryd i gyd ymaith. Beddau yn yr amser gynt a edrychid arnynt yn lleoedd mor gyssegredig ac anmhreisgar, fel y gellid ymddiried trysorau ynddynt gyd â mwy o ddiogelwch, nag agos mewn un lle arall.

§ Ynghylch 12 neu 14 mlwydd o oedran.

arno lywodraeth y deyrnas, yr hwn a osododd Dafydd ac efe etto yn fyw, yn arglwydd y bobl hynny, yn ol ewyllys Duw; pan eisteddodd ar yr orseddfaingc, holl gorph y bobl a wnaethant floddest o lawenydd iddo, fel y mae'n arferol ar ddechrau teyrnasiad; gan ddymuno i'w holl achosion ddyfod i ddiben gwynfydedig; a bod iddo gyrraedd i oedran mawr, ac hyd at amgylchiad dedwyddaf yr achos cyffredin.

Ond Adonïah, yr hwn tra'r oedd ei dad yn fyw, a ymdrechodd i feddiannu 'r llywodraeth, a ddaeth at fam y brenin, Bathsheba, ac a'i cyfarchodd gyd â gostyngeiddrwydd mawr: a phan ofynnodd iddo pa un a ddaethai atti i geisio ei chynnorthwy mewn unrhyw beth, neu beidio? ac a barodd iddo ddywedyd iddi, os hynny oedd yr achos, oblegid y byddai iddi yn llawen ei ganiattau iddo. Efe a ddechreuodd ddywedyd y gwyddai ei hun mai'r eiddo ef oedd y deyrnas, ar gyfrif ei hynafiaeth mewn oedran, ac oddiwrth dueddiad y llïaws: ac etto ddarfod ei throsglwyddo i Solomon ei mab, yn gyttunol ag ewyllys Duw. Efe hefyd a ddywedodd am ei foddlonrwydd i fod yn was tano ef, a'i fod yn parchu y sefydliad presennol. Ond efe a ddeisyfodd arni fod yn foddion i gael ffafr iddo gan ei frawd, a'i berswadio i ganiattau iddo Abishag yn brïod; yr hon a gysgasai gyd â'i dad, ond a ydoedd etto yn wyryf. Felly Bathsheba a addawodd ei chynnorthwy iddo yn hyn, ac i ddwyn y briodas hon o amgylch; oblegid y byddai y brenin ewyllysgar i'w foddhau â'r cyfryw beth, ac y gwnai hi ei gymmell yn daer i hynny. Yn ganlynol efe a aeth ymaith gyd â gobaith mawr am lwyddo yn yr achos hwn. Felly mam Solomon a aeth ar fyrder at ei mab, i lefaru ynghylch y peth a addawsai, wedi i Adonïah wneud ei ddeisyfiad atti. A phan ddaeth ei mab ym mlaen i'w chyfarfod gan ei chofleidio hi, a'i dwyn i'r tŷ lle'r ydoedd ei orsedd frenhinol, efe a eisteddodd arni, ac a barodd iddynt osod gorsedd arall ar ei ddeheulaw i'w fam. Wedi i Bathsheba eistedd i lawr, hi a ddywedodd, "O fab! caniatta i mi un deisyfiad a ofynwyf i ti; ac na wna i mi ddim ag sy'n anghyttûn neu anniolchgar, yr hyn a wnai os bydd it' fy ngommedd i." A phan ddymunodd Solomon iddi adael ei harchiadau gyd ag ef, o herwydd ei fod yn gyttûn a'i ddyledswydd i ganiattau iddi yr hyn a ofynnai; ac a achwynodd na ddechreuodd ar y cyntaf â'i deisyfiad, gyd â disgwyliad cadarn o dderbyn y peth a ddymunai, yn hytrach na bod tan amheuaeth: Hi ddymunodd ganiattau o hono, fod i'w frawd Adonïah gael Abishag yn wraig brïod.

Ond y brenin a anfoddlonwyd yn fawr wrth y geiriau hyn, ac a anfonodd ei fam ymaith, gan ddywedyd fod Adonïah yn amcanu at bethau mawrion; a'i fod yn rhyfedd ganddo na ofynasai iddo y deyrnas, megis i'w frawd hynach nag ef, gan iddi ddymuno cael o hono ef briodi Abishag. A bod ganddo gyfeillion galluog o'i blaid, Joab cadben y filwriaeth, ac Abiathar yr offeiriad. Felly efe a alwodd am Benaiah, pennaeth y gwarchawdlu ac a orchymmynodd iddo fyned a lladd ei frawd Adonïah.* Efe hefyd a alwodd am Abiathar yr offeiriad, ac a ddywedodd wrtho ef, "Ni roddaf di i farwolaeth, o herwydd y caledi a ddioddefaist gyd â fy nhad, ac o herwydd yr arch yr hon a ddygaist ym mlaen yn hir gyd ag ef. Ond yr wyf yn gosod y gosp ganlynol arnat, o herwydd dy fod gyd â phleidwyr Adonïah; Na pharha i aros yma, neu ddyfod i'm golwg i drachefn, ond dos i'th dref dy hun, a bydd fyw ar dy feusydd dy hun, a thrig yno tros dy holl fywyd; canys ti a droseddaist mor fawr, fel nad yw gyfiawn i ti gael aros yn dy swydd gyssegredig yn hwy." Ar gyfrif yr achos yma, gan hynny, y darfu i deulu Ithamar gael ei ddifeddiannu o'r swydd offeiriadol, fel y rhagfynegodd Duw i Eli, yr hwn ydoedd daid Abiathar. Felly y trosglwyddwyd hi i deulu Phineas, i Sadoc. Yn awr y rhai oedd o deulu Phineas, ag a arweiniasant fywyd o neillduaeth, wedi trosglwyddo yr archoffeiriadaeth i deulu Ithamar, (o ba deulu Eli oedd y cyntaf a'i derbyniodd) ydoedd y rhai a ganlyn: Bucci fab Abishua yr archoffeiriad; ei fab ef ydoedd Joatham;† mab Joatham ydoedd Arophæus;‡ mab Arophæus ydoedd Ahitub; a

* 1 Bren. ii. 25.

† Zerahiah, 1 Cron. vi. 9. ‡ Amariah, 1 Cron. vi. 7.

mab Ahitub ydoedd Sadoc: yr hwn a wnaethpwyd gyntaf yn archoffeiriad tan deyrnasiad Dafydd.

Yn awr wedi i Joab, cadben y llu, glywed lladd Adonïah, yr ydoedd tan fawr ofn, canys yr oedd yn fwy cyfeillgar ag ef nag â Solomon; a chan ammeu, nid heb reswm, ei fod mewn perygl oblegid ei ffafr i Adonïah, efe a ffôdd at yr allor, ac a feddyliodd wrth hynny ei ddiogelu ei hun; o herwydd ffyddlondeb y brenin tu ag at Dduw. Ond pan fynegodd rhai i'r brenin beth ydoedd amcan Joab, efe a ddanfonodd Benaiah, i'w gyfodi i fynu oddiwrth yr allor, a'i ddwyn i'r frawdle, mewn trefn i amddiffyn ei hun. Pa fodd bynnag, Joab a ddywedodd nad ymadawai â'r allor, ond a fynnai farw yno yn hytrach nag mewn lle arall. A phan adroddodd Benaiah ei attebiad i'r brenin, Solomon a orchymmynodd iddo* dorri ymaith ei ben yno, a gadawer iddo gymmeryd hynny yn gospedigaeth am ddau o flaenoriaid y fyddin, y rhai yn ddrygionus a laddodd efe, ac yn ol hynny cladder ei gorph ef, fel na ymadawo ei bechodau fyth â'i deulu ef; ond ei fod ei hun, sef Solomon, yn gystal a'i dad, trwy farwolaeth Joab, yn ddieuog. Ac wedi i Benaiah gyflawni yr hyn a orchymmynwyd iddo wneuthur, efe a ordeiniwyd ei hun i fod yn flaenor ar yr holl fyddin. Y brenin hefyd a wnaeth Sadoc yn archoffeiriad yn lle Abiathar,† yr hwn a symmudasai.

Ond am Shimei, gorchymmynodd Solomon adeiladu o hono dŷ iddo ei hun, ac aros yn Jerusalem i weini iddo ef; ac na fyddai caniattâd iddo i fyned tros afon Cidron: ond os anufuddhäi i'r gorchymmyn hwn, ei gosp a fyddai marwolaeth. Efe hefyd a'i bygythiodd mor llym, fel ag y cymmellodd i gymmeryd llw y byddai iddo ufuddhau i'w orchymmyn. Yn ganlynol Shimei a ddywedodd fod ganddo achos i ddiolch i Solomon, am roddi 'r fath orchymmyn arno; ac a chwanegodd wneuthur llw y gwnai fel y gorchymmynodd efe iddo: a chan adael ei wlad ei hun, efe a drigodd yn Jerusalem. Ond ym mhen tair blynedd yn ol hynny,‡ pan wybu fod dau o'i weision wedi ffoi o'i wasanaeth, a'u bod yn Gath, efe a aeth yno ar ffrwst i chwilio am danynt. Ac wedi ei ddyfod yn ol gyd â hwynt, y brenin a'i deallodd, ac ydoedd yn dra digllon am iddo ddirmygu ei orchymmyn, a pheth oedd yn rhagor, oblegid na ofalodd i gadw y llw a wnaethai i Dduw. Felly efe a'i galwodd ef, ac a ddywedodd, "Oni wnaethost di lw nad ymadawit, ac nad ait allan o'r ddinas honi le arall? Ni ddiangi gan hynny rhag cosp am dy anudon; ond rhaid im' dy gospi, tydi ddyn drygionus, yn gystal am y bai hwn a'th feiau eraill, pan geblaist fy nhad yn ei ffoedigaeth; fel y gwybyddech nad yw dynion annuwiol ddim o ennillwyr yn y diwedd, er na chospir hwy yn union-gyrch ar gyflawniad eu drwg weithredoedd; ond fod trwy 'r holl amser ag y maent hwy yn meddwl eu hunain yn ddiangol, o herwydd na ddioddefasant ddim etto, eu cospedigaeth yn dyfod yn drymmach ac i raddau mwy arnynt, na phe cospid hwy yn ddioed am eu troseddiadau. Felly Benaiah, wrth orchymmyn y brenin, a laddodd Shimei

## PENNOD II.

*Am Briodas Solomon, ei Ddoethineb, a'i Gyfoeth; a'r Cynnorthwy a dderbyniodd gan Hiram tu ag at adeiladu y Deml.*

SOLOMON wedi ei sefydlu a'i gadarnhau ei hun yn ei deyrnas, a dwyn ei elynion dan gospedigaeth, a briododd ferch Pharaoh brenin yr Aipht.§ Efe hefyd a adeiladodd furiau Jerusalem,‖ yn llawer helaethach a chadarnach nag oeddynt o'r blaen: ac o hynny allan efe a driniodd achosion cyhoeddus yn heddychol. Ac nid oedd ei ieuengctyd yn ddim rhwystr i weini cyfiawnder, gwneud sulw o'r cyfreithiau, neu goffhau y gorchymmynion a roddodd ei dad iddo cyn ei farwolaeth: ond efe a gyflawnodd

* Y dihenyddiad yma ar Joab, fel llofrudd, trwy ei ladd ef, ie wedi cymmeryd noddfa iddo ei hun wrth allor Duw, ydoedd yn berffaith gyttunol â chyfraith Moses, yr hon a orchymmynasai, "Os daw dyn yn rhyfygus ar ei gymmydog i'w ladd ef trwy dwyll, cymmerer ef i farwolaeth oddiwrth fy allor," Exod. xxi. 14.

† 1 Bren. ii. 25. ‡ Ynghylch Bl. 1052. § 1 Bren. iii. 1.

‖ Yr adeilad yma o furiau Jerusalem, yn fuan ar ol marwolaeth Dafydd, sy'n egluro diwedd yr unfed Salm ar ddeg a deugain, lle y mae Dafydd yn gweddio,---"Adeilada furiau Jerusalem;" am eu bod, megis yr ymddengys, heb eu gorphen, neu yn amherffeith y pryd hynny. Gwel VIII. 6. a'r 1 Bren. ix. 15.

bob dyledswydd gyd â'r fath gywreinrwydd ag a ellid ei ddisgwyl oddiwrth rai oedrannus, ac o'r callineb mwyaf. Efe a benderfynodd yn awr fyned i Hebron,* ac aberthu i Dduw ar yr allor bres a wnaethid gan Moses. Yn ganlynol, efe a offrymmodd yno fil o boeth offrymmau. Ac wedi gwneuthur hyn, meddyliodd ei fod wedi anrhydeddu Duw yn fawr. Canys fel ag yr oedd yn cysgu y nos honno, ymddangosodd Duw iddo ef, ac a orchymmynodd iddo ofyn rhoddion ganddo, y rhai ydoedd barod i'w cyfrannu megis gwobr am ei dduwioldeb. Felly Solomon a ofynodd gan Dduw y peth oedd fwyaf canmoladwy, ac yn werthfawrocaf ynddo ei hun; yr hyn a gyfrannai Duw gyd â'r boddlonrwydd mwyaf; a'r hyn oedd fwyaf buddiol i ddyn ei dderbyn. Canys ni ddeisyfodd efe aur, arian, neu drysorau eraill, yr hyn a allasai dyn ieuangc yn naturiol ei wneuthur; canys y pethau yma yw 'r hyn a werthfawrogir yn gyffredin gan y rhan fwyaf o ddynion, megis yr unig roddion goreu a gyfrennir gan Dduw. "Ond," eb efe, "dyro i'th was feddwl uniawn, a dealldwriaeth da; trwy 'r hyn y llefarwyf ac y barnwyf y bobl yn ol gwirionedd a chyfiawnder." A'r deisyfiadau hyn Duw a foddlonwyd, ac a addawodd roddi iddo yr holl bethau hyn, y rhai ni chrybwyllodd yn ei ddewisiad, cyfoeth, anrhydedd, a buddugoliaeth ar ei elynion; ac yn y lle cyntaf dealldwriaeth a doethineb; a hyn i'r fath raddau na dderbyniodd dyn marwol, yn frenhinoedd na phersonau cyffredin, erioed y cyffelyb. Efe hefyd a addawodd gadw y deyrnas i'w hiliogaeth tros hir amser, os parhai efe yn gyfiawn, ac yn ufudd iddo ef, a dilyn siampl ei dad yn y pethau yr oedd yn rhagori. Wedi i Solomon wrando ar hyn oddiwrth Dduw, efe a neidiodd o'i wely; ac wedi iddo ei addoli ef, efe a ddychwelodd i Jerusalem; ac wedi iddo offrymmu aberthau mawrion o flaen y tabernacl, efe a wleddodd ei holl deulu ei hun.†

Yn y dyddiau hyn y daeth achos o'i flaen i'w farnu, ag ydoedd yn anhawdd ei benderfynu. Ac yr wyf yn ei dybied yn angenrheidiol i egluro 'r weithred ynghylch pa un yr oedd yr ymryson, fel y byddo i'r rhai a ddarllenant fy ysgrifeniadau wybod pa mor anhawdd oedd i Solomon ei iawn farnu; ac i'r rhai y perthyn y fath fatterion i gymmeryd synwyroldeb y brenin yn battrwm iddynt, fel y gallont yn barottach roddi barn eu hunain ynghylch y cyfryw gwestiwnau.—Yr ydoedd dwy wraig, y rhai a fuasent butteiniaid yn ystod eu bywyd; y rhai a ddaethant o flaen y brenin; a'r hon a ymddangosai ei bod yn cael niweid a ddechreuodd lefaru yn gyntaf, gan ddywedyd, "O frenin! myfi a'r wraig yma ydym yn byw ynghyd yn yr un tŷ. Yn awr fe ddigwyddodd i ni bob un eni plant yn yr un awr o'r dydd; ac ar nos y trydydd dydd, hi a draws-orweddodd ar ei phlentyn yn ei chwsg, ac a'i lladdodd ef: a hi a gymmerodd fy mhlentyn i o'm mynwes atti ei hun, a mi yn fy nghwsg, hi a ddododd ei phlentyn marw yn fy mreichiau i. Yna yn y boreu, fel yr oeddwn yn ewyllysio rhoi sugn i'm plentyn, ni chefais yr eiddo fy hun; ond a ganfum blentyn marw y wraig hon yn gorwedd wrth fy ochr; canys mi a edrychais yn graff arno, ac a'i cefais felly. Oddi yno y bu i mi ofyn ganddi fy mab fy hun; a phan na's gallwn ei gael ef, mi anturiais ddyfod i ddeisyf dy nodded a'th amddiffyn di fy arglwydd. Canys gan ein bod ni yn byw ein hunain, ac heb neb gyd â ni i'w chyhuddo a'i dychrynu hi, nid yw yn gofalu dim o herwydd yr achos; ond yn parhau yn gyndyn i wadu y weithred."

Wedi llefaru o'r wraig hon y modd yma, y brenin a ofynodd i'r llall, pa beth oedd ganddi i ddywedyd mewn gwrthwynebiad iddi? Ac wedi iddi wadu 'r hyn a osodid i'w herbyn, a dywedyd mai 'r eiddo hi ydoedd y plentyn byw; ac mai 'r eiddo ei gwrthwynebwraig ydoedd y plentyn marw; a phan na fedrai neb ddyfeisio pa ddedryd i'w roddi, a'r holl lŷs yn dywyll yn eu dealltwriaeth, ac heb fedru cael allan pa fodd

* Er bod yr Hebraeg a'r Septuagint yn dywedyd 1 Bren. iii. 4, 5. ac 2 Cron. i. 3. mai 'r lle i'r hwn yr aeth Solomon yn awr at y tabernael neu 'r allor bres ydoedd Gibeon, ac nid Hebron, fel ag yr ydoedd ynghopi Josephus; etto fe gadarnheir copi Josephus gan adduned Absalom, yr hon ydoedd, yn ol ein copiau cyffredin, i gael ei chyflawni nid yn Gibeon ond yn Hebron, 2 Sam. xv. 7, 12. Ac fel y mae Gibeah neu Gibeon yn arwyddo bryn neu uchder tir, fel y mae Josephus mewn lle arall yn cywir ddal sulw. VI. 8. Y testun gwreiddiol, ysgatfydd, a a feddyliai rhyw uchelfa yn agos i Hebron. Gwel yr un fath wahaniaeth rhwng Gibeon yn ein copiau eraill, Jer. xli. 12, a Hebron yn Josephus, X. 9, yr hyn o bossibl sy'n gofyn ei gymmodi yn yr un modd hefyd.

† 1 Bren. iii. 15.

i ddeongl y dychymmyg hwn, y brenin a gymmerodd y ffordd ganlynol i'w ddatguddio. Efe a barodd iddynt ddwyn o'i flaen y plentyn byw a'r un marw; ac a orchymmynodd i un o'i filwyr fyned i ymofyn cleddyf, a thorri y naill a'r llall o'r mabanod yn eu hanner yn ddau o ddarnau, fel y rhoddid i bob un o'r gwragedd hanner y plentyn byw a'r un marw. Ar hyn yr holl bobl yn ddirgel a chwarddasant wrth glywed y brenin, megis un heb fod yn amgenach na phlentyn. Ond yn y cyfamser gwir fam y plentyn byw a lefodd allan, na fyddai i hynny gael ei wneuthur, ond rhodder y plentyn i'r wraig arall, fel yr eiddo hi; ac y boddlonai hi ar i'r plentyn gael ei fywyd, ac a'r golwg arno, er ei gyfrif megis yn eiddo arall. Ond y wraig arall oedd foddlon i weled rhannu 'r plentyn, ac yn dymuno i'r gyntaf gael ei chystuddio. Pan ddeallodd y brenin fod y naill a'r llall o honynt a'u geiriau yn tarddu oddiwrth amrywiaeth eu tymherau, efe a farnodd y plentyn byw yn eiddo 'r hon oedd yn llefain am achubiaeth ei fywyd, gan orchymmyn ei roddi iddi, oblegid mai hi oedd ei wir fam: ac efe a feiodd ar y llall fel dynes ddrygionus, yr hon nid yn unig a laddasai ei phlentyn ei hun, ond a ewyllysiai weled difetha plentyn ei chymmydoges hefyd. Yn awr y lliaws a edrychasant ar y penderfyniad hwn fel arwydd eglur o synwyroldeb a doethineb y brenin; ac ar ol y dydd hwnnw a wrandawsant arno fel un wedi dwyfoli ei feddyliau.*

Yn awr cadbeniaid † lluoedd Solomon, a'r swyddogion a osodid ar yr holl wlad, ydoedd y rhai hyn. Tros randir Ephraim yr ydoedd Ures; tros ardal Bethlehem yr ydoedd Dioclerus. Abinadab, yr hwn a briododd ferch Solomon, ydoedd ganddo ardal Dora, a goror glàn y môr tan ei olygiad. Y gwastadedd mawr ydoedd tan Benaiah, mab Achilus, yr hwn hefyd a lywodraethodd yr holl wlad mor bell a'r Iorddonen. Gabaris a lywodraethodd ar Gilead, a Gaulanitis; ac ydoedd ganddo drugain o ddinasoedd mawrion Og, brenin Bashan, tan ei ofal ef. Achinadab a driniai achosion holl Galilea, cyn belled a Sidon; yr hwn hefyd a briododd ferch Solomon, a'i henw Basima. Banacates ydoedd ganddo barthau glàn y môr o amgylch Arce; megis yr ydoedd gan Shaphat fynydd Tabor, Carmel, a Galilea isaf, cyn belled ag afon yr Iorddonen; un gwr a osodid tros yr holl wlad hon. I Shimei yr ymddiriedwyd rhandir Benjamin; a Gabares oedd a chanddo 'r wlad tu hwnt i'r Iorddonen; tros ba un drachefn yr ydoedd llywodraethwr arall wedi ei appwyntio. Yn awr pobl yr Hebreaid, yn enwedig llwyth Judah, a gynnyddasant mewn modd rhyfedd, pan ymwnaethant i hwsmonaetha, ac i lafurio eu tiroedd. Canys megis yr oeddynt yn mwynhau heddwch, heblaw rhyddid dymunol a diderfyn, yr oedd pob un yn ymegnïo i chwanegu ffrwyth eu tiroedd eu hunain, a'u gwneud yn fwy o werth nag a fuasent o'r blaen.

Yr ydoedd gan y brenin lywodraethwyr eraill tros wlad Syria, a'r Philistiaid, yr hyn a gyrhaeddodd o'r afon Euphrates hyd yr Aipht; a'r rhai hyn a gasglent ei deyrnged gan y cenhedloedd. Yn awr y rhai hyn a gyfrannogent at gynnaliaeth bwrdd y brenin, a'i swpper beunyddiol, ddeg ar hugain cori o beillied, ‡ a thrugain o flawd; megis hefyd deg o ychain pasgedig, ugain ŷch o'r borfa, a chant o ŵyn breision; y rhai hyn oll a ddefnyddid, heblaw a gymmerid o helfa; megis ceirw, buail, adar, a phys-

* 1 Bren. iii. 28.

† Mr. Reland a dracthodd am raglawiaid yr ardaloedd hyn, ac am yr ardaloedd eu hunain yn helaethach na neb arall; ae a gydmarodd ein copiau o'r 1 Bren. iv, â Josephus yn dra gofalus; at waith yr hwn yr wyf yn cyfarwyddo y darllennydd dysgedig. Palestina, Tom. I. L. I. pen. 29. Yn unig rhaid i ni sylwi, nad oes gan Josephus ond deg o raglawiaid, a bod eu henwau yn wahanol i'r rhai sydd gennym yn ein copiau eraill.

‡ Dichon na fydd yn anghymmwys cymmharu arlwyad bwrdd Solomon, a osodir i lawr yma, a'r 1 Bren. iv. 22, 23, gyd â'r cyffelyb arlwyad beunyddiol bwrdd Nehemiah, llywodraethwr yr Iuddewon, wedi eu dyfod yn ol o Babilon; ac i gofio yn y cyfamser fod Nehemiah yn awr yn adeiladu muriau Jerusalem, ac yn cynnal mwy nag arferol uwchlaw cant a deg a deugain o ddynion cyfrifol bob dydd; a hynny o herwydd fod y genedl y pryd hynny yn dra thlawd, ar ei draul ei hunan hefyd, heb osod un math o feichiau ar y bobl. "A'r hyn a arlwyid beunydd oedd un ŷch, a chwech o ddefaid dewisol; ac adar wedi eu parottoi. A phob deng niwrnod y rhoddid gwin o bob math, yn ddiandlawd; ac er hyn ni cheisiais fara 'r tywysog, canys trwm oedd y caethiwed ar y bobl yma." Neh. v. 18. Gwelwch yr holl wersi amgylchiadol adn. 14, 19. Ac nid oedd caniattad cyffredin y llywodraethwr o ddeugain sicl o arian yn y dydd, adn. 15, yn cyrhaeddyd i 5 punt y dydd; nac i 1800 punt yn y flwyddyn. Ac nid yw yn wir yn ymddangos tan y Barnwyr, neu tan Samuel y prophwyd, fod y cyfryw ganiattad cyffredin yn cael ei wneuthur oll i lywodraethwyr. Y costau mawrion yma ar y cyffredin tu ag at gynnaliaeth llysoedd a ddaethant i mewn gyd â llywodraeth frenhinol, megis y rhagddywedodd Duw, 1 Sam. viii. 11---18.

god, y rhai a ddygid beunydd gan ddieithriaid i'r brenin. Yr oedd gan Solomon hefyd y fath nifer o gerbydau, a bod corau ei feirch a berthynent iddynt yn ddeugain mil; * ac heblaw y rhai hyn yr ydoedd iddo ddeuddeng mil o wŷr meirch; un hanner o ba rai a wylient ar y brenin yn Jerusalem, y rhai a wasgerid o amgylch, ac a drigent yn y maesdrefi brenhinol. Ond yr un swyddwr ag a arlwyai at draul y brenin, a barottöai hefyd borthiant i'r meirch, ac a'i dygai i'r fan y byddai 'r brenin yn aros yr amser hwnnw.

Yn awr y synwyr a'r doethineb a gyfrannodd Duw i Solomon ydoedd mor fawr, ag iddo ragori ar yr hynafiaid, yn gymmaint nad oedd mewn un modd yn fyrr i'r Aiphtiaid, y rhai a ddywedid eu bod tu hwnt i ddynion eraill yn eu dealltwriaethau; ïe yn wir y mae 'n amlwg fod eu hamgyffrediadau ym mhell islaw yr hyn a feddiannodd y brenin. Efe hefyd a ragorodd yn ei ddoethineb uwchlaw y rhai enwoccaf y pryd hynny ym mysg yr Hebreaid a gyfrifid yn ddeallgar. Y rhai yr wyf yn ei feddwl ydoedd Etham, Heman, Chalcol, a Darda, meibion Mahol. Efe hefyd a gyfansoddodd awdlau a chaniadau, y rhai mewn rhifedi ydoedd bum mil a phump; ac o ddamhegion a chyffelybiaethau, tair mil. Canys efe a lefarodd ddammeg oddiwrth bob math o bren, o'r hyssop hyd y gedrwydden: ac yn y cyffelyb fodd hefyd am anifeiliaid, a phob math o greaduriaid byw, pa un bynnag ai ar y ddaear, yn y môr, neu 'r awyr. Canys nid oedd yn anadnabyddus o naturiaethau un o honynt; ac nid esgeulusodd wneuthur ymofyniad yn eu cylch; ond a'u descrifiodd oll fel philosophydd, ac a amlygodd ei ddealltwriaeth am eu gwahanol rywogaethau. Duw hefyd a'i galluogodd i ddeall y gelfyddyd o fwrw allan ysprydion, † yr hon sydd o ddefnyddioldeb i ddynion. Efe a gyfansoddodd y fath gyfaredd hefyd, ag y gwellheid amryw glefydau trwyddi; ac a adawodd o'i ol y modd i arfer consuriaeth trwy'r hyn y gyrrir ymaith ddrwg ysprydion, fel na ddychwelont yn ol drachefn; a'r ffordd yma o wellhad sydd o fawr effaith hyd heddyw. Canys myfi a welais ddyn o'm gwlad fy hun a elwid Eleazar, yn rhyddhau pobl oedd ag ysprydion drwg yn eu meddiannu, ymhresennoldeb Vespasian a'i feibion, ynghyd a'i gadbenaid, a lliaws y milwyr. Dull y gwellhad ydoedd fel hyn: Efe a ddododd fodrwy ag ynddi wreiddyn o'r fath a grybwylla Solomon, wrth ffroenau y dieflig; yn ol hyn efe a dynnai allan y drwg yspryd trwy ei ffroenau: a phan syrthiai 'r dyn i lawr, efe a dynghedai 'r yspryd na ddychwelai iddo drachefn; gan grybwyll fyth enw Solomon, ac adrodd y gyfaredd a gyfansoddodd efe. A phan fynnai Eleazer egluro i'r edrychwyr fod ganddo 'r fath awdurdod, efe a osododd mewn ychydig o bellder ffiol yn llawn o ddwfr, ac a orchymmynodd i'r yspryd fel yr oedd yn myned allan o'r dyn, ei ddymchwelyd; ac wrth hynny gadael i'r edrychwyr weled ei fod wedi ymadael a'r dyn. Ac wedi gwneuthur hyn, dyfais a doethineb Solomon a welid yn dra amlwg. Am ba reswm yr adroddwyd y peth i amlygu ehangder galluoedd Solomon, a'r modd y carwyd ef gan Dduw; ac fel na byddai i'r rhinweddau rhagorol o bob math â pha rai y cynysgaeddwyd y brenin hwn fod yn anadnabyddus i unrhyw bobl tan yr haul; oblegid y rheswm hwn, meddaf, y darfu i ni fyned rhagom i lefaru mor helaeth ar y matterion hyn.

Yn awr Hiram, brenin Tyrus, pan glybu fod Solomon wedi ei osod yn lle ei dad ar y deyrnas, ydoedd lawen ganddo, canys yr oedd efe yn dra chyfeillgar â Dafydd. Felly efe a ddanfonodd gennadwyr atto, i'w gyfarch am ddedwyddwch presennol ei sefyllfa. Ar yr hyn Solomon a anfonodd epistol atto, cynnwysiad yr

* Pedair mil, 2 Cron. ix. 25. yr hyn yr wy'n tybied yw'r iawn nifer.

† Rhyw weddillion o'r llyfrau ffugiol hyn am gonsuriaeth Solomon a welir etto yngwaith Fabricius, t. d. 1054. Er fy mod yn hollol yn gwahaniaethu oddiwrth Josephus, yn y tŷb hwn, fod y cyfryw lyfrau a chelfyddydau o'r eiddo Solomon, yn rhan o'r ddoethineb a roddwyd iddo gan Dduw, yn nyddiau ei ieuengctyd. Rhaid eu bod yn hytrach yn perthynu i'r fath gelfyddydau gwag ac ofer, a grybwyllir am danynt, Act. xix. 13, 20. ac a gesglid oddiwrth eilun-addoliaeth a choel-grefydd gwragedd cenhedlig, a gordderch-wragedd a ymgyfeillachodd efe â hwynt yn ei henaint; pan ymadawsai â Duw, ac y gadewid yntau ganddo ef, a'i roddi i fynu i'w dwylo gan ysprydion cythreulig. Ac nid yw adroddiad dieithr Josephus am y gwreiddyn Baara, (Hanes y Rhyf. VII. 6.) yn ymddangos yn ddim arall na'i ddefnyddiad swynol yn y fath gonsuriaethau. Am yr hanes ddilynol y mae 'n cadarnhau yr hyn a ddywed Crist, Matth. xii. 27. "Ac os trwy Beelzebub yr wyf fi yn bwrw allan gythreuliaid, trwy bwy y mae eich plant chwi yn eu bwrw hwynt allan?"

hwn ydoedd fel y canlyn:—

SOLOMON AT Y BRENIN HIRAM.

*"Gwybydd hyn, y mynnai fy nhad adeiladu teml i Dduw; ond a'i rhwystrwyd gan ryfeloedd ac ymgyrch gwastadol; canys ni roddodd heibio ddadymchwel ei elynion, nes eu gwneuthur oll yn ddarostyngedig i deyrnged. Ond yr wyf yn diolch i Dduw am yr heddwch yr wyf fi yn bresennol yn ei fwynhau; ac ar gyfrif hynny y mae hamdden gennyf, a bwriad i adeiladu tŷ i Dduw. Canys Duw a ragddywedodd i'm tad y gwneid y fath adeilad gennyf fi. O herwydd pa ham yr wyf yn dymuno arnat i anfon rhai o'th ddeiliaid gyd â'r eiddo fy hun i fynydd Libanus i dorri coed i lawr; canys y Sidoniaid ydynt yn fwy celfyddus na'n pobl ni yn y gwaith o gwympo prennau. Am gyflog i gymmynwyr y coed, myfi a'i talaf yn ol pa bris bynnag a benderfynech di."

Wedi i Hiram ddarllen yr epistol hwn, fe'i boddhäwyd ag ef; ac a ysgrifennodd yn ol, yr atteb hwn i Solomon:—

Y BRENIN HIRAM AT Y BRENIN SOLOMON.

"Mae'n weddus i fendithio Duw, ddarfod iddo drefnu y llywodraeth oedd eiddo dy dad i ti, yr hwn wyt ddyn doeth, ac wedi dy gynnysgaeddu â phob math o rinweddau. Ymherthynas im' fy hun, yr wyf yn llawenhau oblegid yr amgylchiad yr wyt ynddo; ac a fyddaf wasanaethgar i ti yn yr hyn oll a ddanfonech attaf o'i blegid. Canys wedi i'm deiliaid dorri i lawr amlder o goed cedrwydd a chypreswydd helaeth, myfi a'u hanfonaf i'r môr, ac a orchymmynafi'm deiliaid eu dodi yn nofiadwy, a'u hwylio at ba fan bynnag o'th wlad yr wyt yn ewyllysio, a'u gadael yno. Yn ol yr hyn y gall dy ddeiliaid dy hun eu dwyn i Jerusalem. Eithr gofala am anfon ŷd i mi yn lle y coed hyn, o'r hwn yr ydym yn sefyll mewn angen, am ein bod yn preswylio ynys."†

Copïau o'r epistolau hyn sydd yn aros hyd heddyw, ac a gedwir nid yn unig yn ein llyfrau ni, ond ym mysg y Tyriaid hefyd; yn gymmaint ag os chwennycha neb wybod sicrwydd yn eu cylch, gall wneud ei ddeisyfiad at geidwaid y coffadwriaethau cyhoedd yn Tyrus, ar iddo eu dangos hwynt; ac efe a gaiff yr hyn a ddodwyd yno i lawr yn cyttuno â'r hyn a ddywedasom ni. Darfu i mi ddywedyd cym-

* Yr Epistolau hyn o eiddo Solomon at Hiram ydynt y rhai hynny yn 1 Bren. v. 3---9. ac fel y maent yn helaethach yn 2 Cron. ii. 2---16. ond yma wedi eu dodi gan Josephus yn ei eiriau ei hun. Y maent hefyd i'w gweled yng ngwaith Eusebius, Præparat. Evangel. IX. 33. ond a ddieithrir yn fawr gan Eupolemus, o waith yr hwn y cafodd Eusebius y copiau hynny. Yr hwn Eupolemus, fel cenedl-ddyn, a wyddai lawer am fatterion Iuddewaidd, er mai mewn dull tra amherffaith. Ac nid yw ei adroddiadau eraill ddim i'w cymmharu â'r rhai mwy cywrain o eiddo Josephus.

† Yr hyn ag y mae Josephus yn ei ddodi i mewn yn ei gopi o epistol Hiram at Solomon, gan ei ail adrodd drachefn, pen. 5, fod Tyrus yn awr yn ynys, nid yw yn un o'r tri chopiau eraill, yr un hynny yn y Brenhinoedd, y llall yn y Croniclau, a'r trydydd yn Eusebius, allan o Eupolemus: ac nid yw amgen, fel yr wyf yn tybied, na'i ddychymmygol ddeongliad ei hun. Canys wedi i mi, lawer o flynyddau aethant heibio, chwilio i'r matter hwn, mi gefais fod sefyllfa y ddinas enwog hon, a'r ynys ar ba un y safai, yn dra gwahanol ar amrywiol amserau: cyn gymmaint a bod y celfyddgar Mr. Reland, yr hwn a lafuriodd lawer wrthi, yn analluog i glirio'r anhawsderau a berthynai iddynt. Gwel ei Palestina, Ll. II, t. d. 1046---1056. Y canlyniad o'm holiadau i i'r matter hwn sydd yn fy Nhraethawd ar yr Hen. Dest. Chwan. t. d. 226, 227, ac, gyd â chwanegiad o rai diwygiadau diweddar, a saif fel hyn:---fod y tystiolaethau goreu ymherthynas i hyn yn arwyddo, fod Palætyrus, neu Tyrus hynaf yn ddim amgen na'r hen amddiffynfa leiaf, neu ddinas Tyrus, a'i sefyllfa ar y cyfandir, ac a grybwyllir Josh. xix. 29. allan o'r hon y Canaaneaid, neu breswylwyr Phœnicia, a yrrwyd i ynys chang, ac oedd heb fod neppell yn gorwedd yn y môr, gan Joshua; a bod yr ynys hon y pryd hwnnw yn cydio â'r cyfandir wrth bresennol weddillion Palætyrus, â llain o dir, gyferbyn a dwfr-gerwyni Solomon, a elwir felly etto; a'r dwfr croyw at wasanaeth y ddinas ysgatfydd a ddygid gan bibellau ar hyd y llain honno o dir; ac nad oedd yr ynys hon, mewn gwirionedd, yn ddim amgen na thir rhwng deufor heb ei amgylchynu ganddo; a chanddi bentrefi yn ei maesydd, Ezec. xxvi. 6, ac â mur o'i hamgylch, Amos i. 10. ac nid oedd y ddinas o gymmaint enwogrwydd a Sidon, tros rai oesoedd; ddarfod ymosod i'w herbyn o'r mor a'r tir gan Salmanassar, fel y mae Josephus yn hyspysu i ni, allan o ysgrifeniadau Menander, IX. 14. ac a ddaeth i fod yn brif-ddinas Phœnicia, ac yn ol hynny a gymmerwyd gan Nebucodonozor, yn gyfattebol i amryw brophwydoliaethau ysgrythyrol yn perthyn i hynny, Esay xxiii. Jer. xxv. 22. xxvii. 3. xliv. Ezec. xxvi. xxvii. xxviii; a bod gweddillion o'r dinystr hwnnw hefyd i'w weled mewn awdwyr cenhedlig yn nyddiau Josephus, eithr yn awr sydd wedi myned yngholl, X. 11, ddarfod ym mhen deng mlynedd a thrugain yn ol y distryw hwn gan Nebucodonozor, i'r ddinas yma mewn rhyw fesur gael ei hadnewyddu a'i hail-gyfanneddu, Esay xxiii. 17, 18, ond ddarfod, megis ag y rhagddywedodd y prophwyd Ezeciel, xxvi. 3, 4, 5, 14. xxxvii. 34, i'r môr gyfodi yn uwch nag o'r blaen, nes o'r diwedd iddo lifeirio, nid yn unig tros y gwddf neu'r llain yma o dir, ond yr holl orynys hefyd, ac a ddifethodd y ddinas hynafiaethol ac enwog honno am byth; fod er hynny etto yn aros ynys fechan gyssylltedig â'r un gyntaf, a unwyd gynt â Thyrus hynaf gan Hiram, yr hon yn ol hynny a breswyliwyd; at yr hon Alecsander Fawr, trwy lafur angrhedadwy, a gododd wrth-gloddiau, neu sarn: a'i fod yn ymddangos yn eglur oddiwrth Mr. Maundrel, yr hwn oedd lygad-dyst o'r lle, fod yr hen ddinas enwog a helaeth, yn yr ynys gyntaf, wedi ei gosod yn awr mor hollol tan ddwfr, nad oes yn brin ychwaneg i'w weled o honi, neu yn hytrach o'r ynys gyssylltiedig, na deugain o aceru y pryd hyn: felly ysgatfydd nad yw y ganfed ran o'r ynys a'r ddinas gyntaf yn awr yn weledig. Gwel Reland, t. d. 1049, 1052. Marsh. Chron. t. d. 5039, a Theithiau Maundrel, t. d. 50. Hyn a ragddywedasid am dano ymhrophwydoliaethau Ezeciel; ac yn gyfattebol iddynt, fel y mae Maundrel yn sylwi, y gweddillion tlawd yma o Tyrus hen sydd wedi dyfod yn debyg i ben craig, i danfa rhwydau ynghanol y môr. Ac nid yw Ovid yn cymmeryd arno grybwyll, fod y wir ynys ar ba un y safai Tyrus hen yn awr yn weledig.

maint, gyd â dymuniad i'm darllenwyr wybod nad ydym yn llefaru dim ond gwirionedd; ac nad ydym yn cyfansoddi hanes oddi ar ryw adroddiad dychymmygol, yr hyn sydd yn boddhau ac yn twyllo dynion yr un amser; ac nid ydym am ochelyd holiad, neu yn dymuno i ddynion yn union-gyrch ein credu ni. Ac nid ydym ni yn rhydd i ymarbed a llefaru 'r gwirionedd, yr hyn yw priodol ganmoliaeth hanesydd, a bod etto yn ddifeius. Ond nid ydym am fynnu derbyniad i'r hyn a ddywedom, oddieithr i ni allu amddiffyn ei wirionedd trwy eglurdeb y tystion cadarnaf.

Yna y brenin Solomon, mor gynted ag y dygwyd yr epistol hwn iddo oddiwrth frenin Tyrus, a ganmolodd y parodrwydd a'r ewyllys da a amlygid ynddo; ac a atdalodd iddo yn yr hyn a ddymunodd; ac a ddanfonodd iddo yn flynyddol ugain mil cori o wenith; a chynnifer bathau o olew. Yn awr y bath sydd gydradd a deuddeg a thrugain Sextaries. Efe hefyd a ddanfonodd iddo yr un mesur o win. Felly y cymdeithasrwydd rhwng Hiram a Solomon trwy hyn a gynnyddodd fwyfwy; a hwy a aethant i'w llw i barhau hyd y diwedd. A'r brenin a appwyntiodd deyrnged i gael ei gosod ar yr holl bobl, o drugain mil o weithwyr; gwaith y rhai a wnaeth yn hawdd trwy ei ddosparthu rhyngddynt. Canys efe a osododd ugain mil i dorri i lawr goed ym mynydd Libanus tros un mis, ac yna dyfod adref, a gorphwyso am ddeufis, hyd yr amser ag y gorphenai yr ugain mil eraill eu rhan hwythau erbyn yr amser appwyntiedig. Ac felly y deuai o amgylch fod i'r ugain mil cyntaf ddychwelyd at eu gwaith bob pedwerydd mis. Ac Adoram * ydoedd yr hwn oedd ar y deyrnged hon. Yr oedd hefyd o'r dieithrriaid a adawyd gan Ddafydd, y rhai oeddynt i gludo 'r cerrig, a defnyddiau eraill, ddeng mil a thrugain; ac o rai a naddai y cerrig bedwar ugain mil. O'r rhai hyn, tair mil a thri chant oedd olygwyr ar y lleill. Efe hefyd a orchymmynodd iddynt gloddio meini ehang allan i fod yn sylfaeni i'r deml, a bod iddynt eu cymhwyso a'u huno â'u gilydd yn y mynydd, a'u cludo felly i'r ddinas. Gwnaethpwyd hyn nid yn unig gan ein crefftwyr ein hunain, ond hefyd y rhai a ddanfonwyd gan Hiram.

## PENNOD III.

*Am adeiladaeth y Deml.*

SOLOMON a ddechreuodd adeiladu y deml yn y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad, ar yr ail mis, yr hwn a eilw'r Macedoniaid, Artemisius, a'r Hebreaid Jar. Pum cant a deuddeg a phedwar ugain mlynedd yn ol yr ymadawiad o'r Aipht; ond un fil a dwy ar hugain o flynyddau, yn ol dyfodiad Abraham allan o Mesopotamia i wlad Canaan, ac ar ol y diluw un † fil pedwar a deugain mlynedd; ac o Adda y dyn cyntaf a grewyd hyd adeiladaeth y deml gan Solomon, yr aethai heibio ‡ tair mil un cant a dwy o flynyddau. Yn awr y flwyddyn ar ba un y dechreuwyd adeiladu 'r deml, ydoedd eisoes y ddeuddegfed flwyddyn o deyrnasiad Hiram; ond o adeiladaeth Tyrus hyd adeiladaeth y deml, aethai heibio ddau cant a deugain mlynedd.

Yn awr, gan hynny, y brenin a osododd sylfeini y deml yn § dra dwfn yn y ddaear, a'r defnyddiau ydoedd feini cedyrn, a'r fath a attebai i feithder amser; y rhai hyn ydoedd i uno eu hunain â'r ddaear, ac i fod yn waelod a sylfaen sicr i'r tŷ hwnnw ag oedd i'w adeiladu: yr oeddynt i fod mor gedyrn, mewn trefn i gynnal gyd â hawsdra yr oruwch-adeilad ehang, ac addurniadau gwerthfawr, pa rai ydoedd i fod yn ddim llai na phwys yr adeiladau uchel a thrymion, y rhai a amcanodd y brenin i fod yn dra addurniadol ac ardderchog. Gwnaethant holl gorph yr adeilad i fynu hyd y gronglwyd o gerrig gwynion. Ei uchder ydoedd drugain cufydd, ei hyd yn gyffelyb, a'i led yn ugain cufydd. Yr ydoedd adail arall wedi ei wneuthur trosti yn gydradd yn ei mesurau. Felly y cyfan o uchder y deml ydoedd un cant ac ugain o

* Adoniram, 1 Bren. i. 14. † 1989. ‡ 3545.

§ Am deml Solomon, a ddescrifir yma gan Josephus, yn y lle hwn, a'r rhannau canlynol o'r bennod, gwel fy nescrifiad i o'r temlau perthynol i'r gwaith hwn, pen. 13. Yn yr hyn, wedi fy holl lafur, rhai anhawsderau sydd etto yn aros yn ol i'w hegluro; yn enwedig i ddescrifiad a chynhwysiad y deg noeau. Am y rhai yr ymadroddwn ychwaneg yn y man, megis hefyd am ychydig o anhawsderau eraill, na sylwir yno bob amser arnynt.

gufyddau. Ei wyneb ydoedd tu a'r dwyrain. Ymherthynas i'r porth, hwy a'i hadeiladasant o flaen y deml. Ei hyd ydoedd ugain cufydd, ac yr ydoedd wedi ei drefnu felly, fel ag yr attebai i lêd y tŷ; ac yr oedd ganddo ddeuddeg cufydd yn ei ledander, a'i uchder a godwyd gymmaint ag ugain a chant o gufyddau. Efe hefyd a adeiladodd o amgylch ogylch i'r deml ddeg ar hugain o ystafelloedd, y rhai a gynnwysai yr holl deml gan eu hagosrwydd y naill i'r llall, a thrwy eu rhifedi, a'u sefyllfa allanol o'i amgylch. Efe hefyd a wnaeth ffordd o fynedfa trwyddynt, fel y gallid dyfod i'r naill o honynt trwy y llall. I bob un o'r ystafelloedd hyn yr ydoedd * pum cufydd o lêd, a chymmaint o hyd, ond ugain cufydd mewn uchder. Uwchlaw y rhai hyn yr oedd ystafelloedd eraill, ac eraill uwchlaw iddynt hwythau, yn gydradd o ran eu mesur a'u rhifedi: felly y rhai hyn a gyrraeddasant i uchder cydradd a rhan isaf y tŷ; canys nid oedd i'r rhan uchaf ddim adeiladau o'i amgylch. Y gronglwyd uwch ben y y tŷ ydoedd o gedrwydd; ac i bob un o'r ystafelloedd hyn yr ydoedd ei gronglwyd ei hun, heb fod yn gyssylltiedig â'r ystafelloedd eraill: ond am y rhannau eraill yr ydoedd cronglwyd gauedig yn gyffredin iddynt i gyd, ac wedi eu hadeiladu â swmmerau o hyd mawr, yn myned trwy eraill, ynghyd â thrwy 'r holl adeilad; fel y byddai i'r canol furiau, wedi eu cryfhau gan yr unrhyw swmmerau o goed, fod yn gadarnach. Ond am y rhan hynny o'r gronglwyd ag ydoedd dan y swmmerau, fe'i gwnaethpwyd o'r un defnyddiau, ac yr ydoedd oll wedi ei lyfnhau ag addurniadau cymmwys i gronglwydydd, a dalennau aur wedi eu hoelio arnynt. Ac fel y gorchuddiai y muriau ag ystyllod o gedrwydd, felly efe a osododd ar hyd-ddynt ddalennau aur, y rhai oedd ag argraphiadau arnynt: felly yr oedd yr holl deml yn trechu golwg y sawl a elai iddi gan ddisgleirdeb yr aur ydoedd o bob tu. Yn awr holl adeilad y deml a wnaethpwyd trwy gywreinrwydd mawr o gerrig nadd, a'r rhai hynny wedi eu gosod ynghyd mor dra llyfn a chyssylltiedig â'u gilydd, nad ymddangosodd i edrychwyr un arwydd o forthwyl, neu offeryn adeiladu arall; † ond megis pe buasai, heb ddim defnydd o honynt, yr holl ddefnyddiau yn naturiol yn uno eu gilydd ynghyd; fel ag yr oedd attebiad y naill ran i'r llall, yn hytrach yn ymddangos o natur, nac o ddefnyddio offerynnau tu ag at eu cydgymhwyso. Yr ydoedd hefyd ddyfais wych gan y brenin ymherthynas i esgyniad i oruwch 'stafell y deml; a hynny ydoedd ar hyd grisiau wedi ei gwneuthur yn nhrwch y mur. Canys nid oedd iddo ddrws ehang o du 'r dwyrain megis yr oedd gan y tŷ isaf; ond y mynediad i mewn ydoedd yn yr ystlysau trwy ddorau tra bychain. Efe hefyd a wisgodd y deml oddi fewn ac oddi allan â byrddau o gedrwydd, a ddelid yn agos i'w gilydd â chadwynau preiffion: felly y ddyfais hon ydoedd yn ei natur o gynnaliaeth i'r holl adeilad.

Yn awr wedi i'r brenin ddosparthu 'r deml yn ddwy ran, efe a wnaeth y tu-fewnol dŷ o ugain cufydd bob ffordd, i fod yn ystafell ddirgelaf; ond efe a appwyntiodd yr un hynny o ddeg cufydd a deugain i fod yn gyssegr. Ac wedi torri o hono le drws allan o'r mur, efe a osododd i mewn yno ddrysau cedrwydd, ac a'u gorchuddiodd â llawer o aur, ag oedd â cherfiadau arno. Yr oedd ganddo hefyd lenni gleision, porphor, ac yscarlad, o l'ïain meinwych a rhywiog, o flodeuwaith mwyaf cywrain wedi ei weithio arnynt, y rhai oeddynt i'w tynnu o flaen y drysau. Efe a gyssegrodd i'r lle dirgelaf, lled yr hwn ydoedd ugain cufydd, a'i hyd yn gyffelyb, ddau Gerub o aur pur: † uchder pob un o honynt ydoedd bum cufydd; ac yr oedd gan bob un ddwy o adenydd yn ymestyn allan cyn belled a phump o gufyddau; o herwydd paham Solomon a'u gosododd heb fod y

* Yr ystafelloedd bychain hyn, neu siamberydd yr ochrau, o amgylch y trugain cufydd isaf o'r tŷ sanctaidd, a ymddengys eu bod yn ol descrifiad Josephus, yn y tri uchder, y naill uwchlaw y llall, yn ddim llai nag ugain cufydd o uchder bob un. Pe amgen byddai raid fod cyfwng mawr rhwng yr un o honynt ac un arall a fyddai uwchlaw iddo: a'r rhai hyn ydoedd â lloriau dwbl, un yn chwe chufydd o bellder oddiwrth y llawr is-law iddi, megis yn 1 Bren. i. 5. yn y Septuagint, a'r llall o ddim llai nag ugain o gufyddau.

† Gwel 1 Bren. vi. 7.

‡ Josephus a ddywed yma fod y cerubiaid o aur pur, ac yn ddim ond pum cufydd o uchder; pan y mae ein copiau Hebraeg, 1 Bren. vi. 23, 28. yn dywedyd, eu bod o bren olewydd, a'r Septuagint o bren cypres, ac wedi eu gwisgo yn unig ag aur; a phob un a gyttunant eu bod yn ddeg cufydd o uchder. Yr wyf yn tebygu fod y nifer yma wedi ei gam-gopio neu adysgrifennu, a darfod i nodi 10 o gufyddau hefyd.

naill yn neppell oddiwrth y llall; fel ag un o'r adenydd y cyffyrddent â mur deheuol y lle dirgel, ac â'r llall yr un gogleddol: eu hadenydd eraill, y rhai a gyffyrddent a'u gilydd, a orchuddient yr arch, yr hon a osodid rhyngddynt. Ond ni all neb ddywedyd, neu ddychymmygu pa fath lun oedd i'r cerubiaid hyn. Efe hefyd a orchuddiodd lawr y deml ag aur. Ac efe a chwanegodd wneuthur drysau wrth borth y deml, a'u mesur yn gydradd ag uchder y mur, ond eu lled yn ugain cufydd, ac a'u gorchuddiodd hwy â dalennau aur. Ac, mewn gair, ni adawodd un rhan o'r deml, yn du-fewnol neu yn allanol, heb ei orchuddio ag aur. Yr ydoedd hefyd ganddo lenni i'w tynnu tros y drysau; yn yr un dull ag yr oeddynt i'w tynnu tros ddrysau y lle sancteiddiolaf. Ond i borth y deml nid oedd dim o'r cyfryw beth.

Yn awr Solomon a ddanfonodd am gelfyddydwr o Tyre, enw 'r hwn oedd Hiram. Yr oedd efe wrth enedigaeth o lwyth Naphthali, o du ei fam, ond ei dad ydoedd Ur, * o genedl yr Israeliaid. Y gwr hwn ydoedd gelfyddus ym mhob rhyw waith; ond ei gywreinrwydd mwyaf ydoedd mewn gwaith aur ac arian, a phres; gan yr hwn y gwnaethpwyd yr holl gelfyddydwaith ynghylch y deml, yn gyttûn ag ewyllys Solomon. Ymhellach, yr Hiram yma a wnaeth † ddwy golofn weigion oddi mewn, y tu allan i'r rhai ydoedd bres, a thrwch y pres ydoedd led pedwarbys; ac uchder y colofnau ydoedd ddeunaw cufydd, a'u cwmpas yn ddeuddeg cufydd. Ond fe fwriwyd gyd â phob un o'r cnapiau waith lili, ag oedd yn sefyll ar y colofnau, ac wedi ei dderchafu bump o gufyddau; o amgylch pa un yr ydoedd rhwydwaith wedi ei gyd wau â phalmwydd bychain, a'i wneuthuriad o bres, ac yn caead ar waith y lili. Wrth y rhai hyn y crogid dau cant o bomgranadau yn ddwy res: un o'r colofnau a osododd wrth y fynedfa i mewn i'r porth ar y llaw ddehau, yr hon a alwodd Jachin, a'r llall ar y llaw asswy, ac a elwid Booz.

Solomon hefyd a fwriodd fôr pres, dull yr hwn ydoedd debyg i hanner cylch, ac a elwid yn fôr oblegid ei faintioli; canys yr ymolchfa ydoedd ddeg cufydd o amgylchiad, ac wedi ei fwrw o drwch cledr llaw. Ei ran ganol a orphwysai ar golofn ferr, ag ydoedd a deg tyn-droell (*screw*) o amgylch; a'r golofn honno ydoedd un cufydd o gwmpas. Yr oedd yn sefyll o'i amgylch ddeuddeg o ychain, yn edrych tu a phedwar gwynt y nefoedd; tri tu a phob gwynt; a'u pennau ol tan bwysau, fel y gorphwysai y llestr arnynt hwy; yr hwn ei hun hefyd a wasgid yn du-fewnol o amgylch. Yn awr y môr hwn a gynnwysai mewn mesur dair mil o fathau.

Efe hefyd a wnaeth ddeg o wadnau neu ystolion pres, i gynnifer o noëau pedwarongl, hyd y rhai ydoedd bob un bump o gufyddau; eu lled yn bedwar cufydd; a'u huchder yn chwe chufydd. ‡ Y llestr yma mewn graddau a droid, a'i ddyfais oedd fel hyn. Yr ydoedd pedair colofn fechan bedwarongl yn sefyll un tan bob congl; y rhai hyn ydoedd ag ochrau yr ystolion wedi eu cymhwyso iddynt ar bob tu; a hwy a rennid yn dair rhan; pob cyfwng neu wagter rhyngddynt ydoedd ag ystlys wedi ei gymhwyso i gynnal yr ymolchfa; ar ba un y cerfiwyd y naill gwrr iddi lun llew, ar y cwrr arall llun tarw, ynghyd ag eryr. Y colofnau bychain ydoedd a llun yr un creaduriaid wedi eu cerfio arnynt yn yr ochrau. Y gwaith i gyd ydoedd ar uchder, ac yn sefyll ar bedair o olwynion a fwriasid; y rhai hefyd oedd iddynt fothau a chemmygau; ac oeddynt droedfedd a hanner o gwmpas. Pwy bynnag a edrychai ar freichiau 'r olwynion mor gywir y troent, ac yr unent ag ystlysau 'r ystolion, ac â pha gywirdeb y cyttunent â'r cemmyg, a ryfeddai wrthynt. Pa fodd bynnag, eu gwneuthuriad ydoedd fel hyn: Ysgwyddau a dwylaw yn estynedig a ddalient y conglau uchod; ar y rhai y gorphwysai colofn ferr ysgriwiedig, ac a orweddai tan wagle y noëau, ac ymorphwys ar flaen-draed

* Josephus yn ei holl gopiau presennol a enwa Ur yn lle Tyriad, neu wr o Tyrus, megis am dad Hiram. 1 Bren. vii. 14. 2 Cron. ii. 14. Pa ryw eirian ydynt mor gyffelyb yn y Groeg, nad yw annhebyg i Josephus hefyd ysgrifennu Tyriad, a'i fod yma yn cyttuno â'r copiau eraill.

† Am y colofnau hynod yma, Jachin a Booz, eu huchder ni allai fod yn fwy na 18 o gufyddau, megis yma a'r 1 Bren. vii. 15. 2 Bren. xxv. 17. Jer. lii. 21. Y 35 cufyddau yn 2 Cron iii. 15, ydynt wrthwyneb i bob rheolau adeiladaeth. Meddylir hefyd fod cylch neu gwmpas o 12 cufydd, neu dryfesur o agos i bedwar cufydd, yn anghyttuno hefyd â rheolau adeiladaeth. Ond fe ddangosir i'r gwrthwyneb gan Vitruvius; a'r cyfattebiad yma o 6 i un, yr hyn ydoedd berthynol i'r colofnau, a'r cnapiau yn gynnwysedig, ydoedd yr hynaf a'r sicraf o bob cyfattebiadau mewn adeiladaeth. Gwel ddesgrifiad y temlau, pen. xiii.

‡ Pedwar cufydd, Hebr. a'r Septuagint. 1 Bren. vii. 27.

yr eryr a'r llew, y rhai a gymhwysid iddynt; yn gymmaint ag y byddai i'r rhai a'i gwelai hwynt feddwl mai darn cyfan oeddynt. Rhwng y rhai hyn yr oedd cerfiadau coed palmwydd. Dyma ydoedd gyfansoddiad y deg ystolion. Efe hefyd a wnaeth ddeg o lestri helaeth crynion, y rhai ydoedd y noëau eu hunain; pob un o'r rhai a gynnwysai ddeugain * o fathau: † canys yr ydoedd a'i huchder yn bedwar cufydd; a'i hymylau ydoedd yn gydradd eu pellder oddiwrth eu gilydd. Efe hefyd a osododd y noëau ar y deg ystolion a elwid Mechonoth; ac efe a osododd bump o'r noëau ar y tu asswy ‡ i'r deml, yr hon oedd yr ochr tu a'r gogledd-wynt; a chynnifer ar yr ochr ddehau, ond a edrychai tu a'r dwyrain. At yr un tuedd dwyreiniol y gosododd efe y môr. Yn awr efe a appwyntiodd y môr i olchi dwylaw a thraed yr offeiriaid, pan fyddent yn myned i'r deml, ac yn esgyn i'r allor; ond y noëau i lanhau traed ac ymysgaroedd yr anifeiliaid ag oedd i fod yn boeth-offrymmau.

Efe hefyd a wnaeth allor bres, hyd yr hon ydoedd ugain cufydd, ei lled yr un modd, a'i huchder yn ddeg, i'r poeth offrymmau. Efe hefyd a wnaeth ei holl lestri o bres; y crochanau, y rhawiau, a'r cawgiau; heblaw hyn y saltringau a'r gefeiliau; a'i holl ddodrefn eraill a wnaeth efe o'r fath bres ag ydoedd mewn disgleirdeb a harddwch fel aur. Y brenin hefyd a gyssegrodd ‖ nifer mawr o fyrddau; ond un ydoedd helaeth ac wedi ei wneud o aur; ar ba un y gosodent dorthau o fara wedi eu cyssegru i Dduw; ac efe a wnaeth ddeng mil yn rhagor ag oedd yn tebygoli iddynt, ond a weithid mewn dull arall, ar y rhai y gosodid y phïolau a'r cwppanau: y rhai hynny o aur oeddynt ugain mil, a'r rhai o arian yn ddeugain mil. Efe hefyd a wnaeth ddeng mil o ganwyllbrenni, yn gyttûn â gorchymmyn Moses; un o'r rhai a gyssegrodd efe i'r deml, fel y byddai yn llosgi liw dydd, yn ol y gyfraith, ac un bwrdd a thorthau arno ar du gogledd y deml, gyferbyn a'r canwyllbren: canys hwn a osododd ar y tu dehau; ond yr allor aur ydoedd yn sefyll rhyngddynt. Yr holl ddodrefn hyn a gynnwysid yn y rhan hynny o'r tŷ sanctaidd, yr hwn ydoedd ddeugain cufydd; ac ydoedd o flaen llèn y lle dirgelaf ym mha un y gosodid yr arch.

Y brenin hefyd a wnaeth bedwar ugain mil o lestri tywalltol, a chan mil o phïolau aur, a chynnifer ddwywaith o phïolau arian. O ddysglau aur i offrymmu peillied wedi ei dylino wrth yr allor yr ydoedd pedwar ugain mil, a chynnifer ddwywaith o rai arian. O gawgiau llydain hefyd ym mha rai y cymmysgent beillied ag olew, yr ydoedd trugain mil yn aur, a chynnifer ddwywaith yn arian. O'r mesurau tebyg i'r rhai hynny a alwai Moses hin, a'r assaron, ‖ yr ydoedd ugain mil o rai aur, a chynnifer ddwywaith o rai arian. Y thuserau eraill, ym mha rai y dygent dân oddiar yr allor fawr, at yr un fechan, o fewn y deml, oeddynt yn ddeng mil a deugain. Y gwisgoedd offeiriadol, a berthynent i'r archoffeiriad, a'r gwisgoedd lleision, yr oracl neu attebfa, a'r meini gwerthfawr oeddynt yn un mil. Ond y goron ar ba un yr ysgrifennodd Moses enw Duw, ydoedd un yn unig; ac a safodd felly hyd y dydd hwn.¶ Efe hefyd a wnaeth ddeng mil o wisgoedd offeiriadol, o liain main, gyd â gwregys porphor i bob offeiriad; a dau can mil o udgyrn yn ol gorchymmyn Moses. Hefyd dau can mil o wisgoedd o liain main i'r cantorion, y rhai a fyddent Lefiaid. Ac efe a wnaeth o offerynnau cerddoriaeth, y fath ag a ddyfeisiodd i ganu hymnau wrthynt, ac a elwid

* Y noeau crynion o 4 cufydd o gylchyniad, a 4 o uchder, yn ein copiau ysgrythyrol, 1 Bren. vii. 38, 39, ac yma yn Josephus, a raid iddynt fod yn cynnwys llawer mwy na 40 o fathau, a gyfrifir iddynt bob amser. Pa le y mae 'r cyfeiliorni yn gorwedd sydd anhawdd ei ddywedyd. Os am congii, neu bathau y cymmerwn homerau, y rhai nid oeddynt ond y degfed ran o bath: neu os cymmerwn yn Josephus eu cylchedd megis y drydedd ran yn unig o'u huchder, gallai 'r mesurau gyttuno yn lled dda. Ond pob un o'r lled-dybiau hyn ydynt yn ansicr, ac yn ddigadarnhaol. Ysgatfydd fod Josephus yn dilyn y copiau oedd ganddo ef yma, er y gallant fod wedi eu llygru, a'i fod ef yn analluog i adferyd yr iawn ddarlleniad. Yn y cyfamser y 40 bath ydyw, o bossibl, y mesur a gynnwysai pob un o'r noeau; gan eu bod i'w gyrru ar olwynion, ac a dynnid gan y Lefiaid o amgylch cyntedd yr offeiriaid, er cyfleusdra i'r golchiadau, i'r rhai y bwriadid hwynt; a phe cynnwysasent llawer yn rhagor hwy a fuasent ry drymion i'w symmud y modd hwnnw o'r naill le i'r llall.

† Cori neu Congii.

‡ Yma y mae Josephus yn rhoddi i ni agoriad i'w iaith ei hun, o'i ddehau a'i asswy law yn y tabernacl a'r deml: mai wrth y ddeheulaw y mae i ni feddwl yr hyn sydd gyferbyn a'r asswy; pan feddyliom ein hunain yn myned oddiwrth byrth dwyreiniol y cyntedd tu ag at y tabernacl neu'r deml eu hunain, ac felly ym mlaen. Oddiyma y canlyn fod y golofn Jachin ar ddeheulaw y deml a'i sefyllfa yn y dehau, gyferbyn a'n llaw asswy; a'r golofn Booz yn y tu gogleddol, gyferbyn a'n deheulaw.

§ Am y nifeiri aruthrol a gormodol yma, gwel fy ngwaith o Ddescrifiad y Deml, pen. 13.

‖ Y ddegfed ran.

¶ Am y ddalen aur ar dalcen yr archoffeiriad ag ydoedd mewn arferiad yn nyddiau Josephus, a thros ganrhif neu ddwy yn ddiweddarach, gwel y nod ar III. 7.

Nablæ a Cinyræ, (psaltringau a thelynau) y rhai oedd a'u defnydd o electrum, (y pres gorau) ddeugain mil.

Solomon a wnaeth y rhai hyn oll er anrhydedd Duw, o amrywiaeth a chywreinrwydd mawr; heb arbed dim traul, ond arfer pob haelioni yn addurno 'r deml, a'r pethau hyn a gyssegrodd yn drysorau i Dduw. Efe hefyd a osododd wahan-fur o amgylch y deml, pa un yn Hebraeg a alwn Gison; ac efe a'i cododd i fynu i uchder tri o gufyddau; a hyn oedd i gau allan y llïaws rhag dyfod i mewn i'r deml; a dangos ei fod yn lle ag ydoedd yn rhydd ac yn agored yn unig i'r offeiriaid.* Efe hefyd a adeiladodd deml tu hwnt i'r cyntedd yma, llun yr hon ydoedd yr un hynny o bedwarongl, ac a wnaeth rodfeydd llydain o'i hamgylch;i hon yr elid i mewn trwy byrth tra uchel, pob un o'r rhai ydoedd a'i wyneb tu ag at un o'r pedwar gwynt, ac a gauid â drysau goreuraidd. I'r deml hon yr ydoedd mynedfa i'r holl bobl a wahaniaethid oddiwrth eraill trwy fod yn bur, ac yn sylwi ar y cyfreithiau. Ond efe a wnaeth y deml tu hwnt i hon yn un ryfedd yn wir, a'r fath ag a ragorai ar bob descrifiad mewn geiriau: Ië, os gallaf ddywedyd felly, yr oedd yn anhawdd ei gredu er ei weled. Canys wedi iddo lenwi i fynu bantiau mawrion â phridd, y rhai ar gyfrif eu dyfnder tra mawr, ni ellid edrych iddynt, pan blygai un ei hunan i hynny, heb flinder; ac a godasai'r tir bedwar o gufyddau, efe a'i gwnaeth yn gydwastad a phen y mynydd ar ba un yr oedd y deml wedi hadeiladu; a thrwy 'r moddion hyn y deml nesaf allan, yr hon oedd yn noeth i'r awyr, ydoedd yn gydwastad† a'r brif deml ei hun. Efe a amgylchynodd hon hefyd â rhes ddyblyg o rodfeydd, y rhai a uchel sefydlwyd ar golofnau o gerrig naturïol; a'r cronglwydydd o goed cedrwydd, ac a lyfnhäwyd mewn dull perthynol i'r fath gronglwydydd uchel;ond efe a wnaeth holl ddrysau y deml hon o arian.

## PENNOD IV.

*Am Solomon yn symmud yr Arch i'r Deml; ei Erfyniadau at Dduw, a'i gyhoeddus Aberthau.*

WEDI i'r brenin Solomon orphen yr adeiladau mawrion a harddwych hyn, a dodi i fynu ei anrhegion yn y deml, a hyn i gyd yn y cyfrwng o saith mlynedd;‡ a rhoddi amlygrwydd o'i gyfoeth a'i gallineb yn hynny; yn gymmaint ag y buasai i bwy bynnag a'i gwelsai feddwl y gofynnai amser tra hir cyn y gellid ei orphen,ac a ryfeddasai i gymmaint gael ei orphen mewn cyn lleied o amser: efe a ysgrifennodd at henuriaid a llywodraethwyr yr Hebreaid; ac a orchymmynodd i'r holl bobl ymgynnull ynghyd i Jerusalem,§ i weled y deml a adeiladasai, ac i symmud arch Duw iddi. Ac wedi i'r gwahoddiad hwn ddyfod o amgylch, yn y seithfed mis hwy a ddaethant ynghyd, yr hwn fis gan ein gwladwyr ni a elwid Thisri; ond gan y Macedoniaid Hyperberetæus. Gwyl y pebyll a ddigwyddodd fod ar yr un amser, yr hon a gedwid gan yr Hebreaid fel gwyl dra chyfrifol a sanctaidd. Felly hwy a ddygasant yr arch a'r tabernacl a osodasai Moses i fynu, a'r holl lestri perthynol i weinyddiad aberthau Duw, ‖ ac a'u symmudasant i'r deml. Y brenin ei hun, a'r holl bobl, a'r Lefiaid a aethant o'r blaen, gan wneud y llawr yn llaith â'u haberthau, eu diod-offrymmau, a gwaed anifeiliaid. Llosgasant hefyd fesur

* Pan y mae Josephus yn llefaru yma am gyntedd yr offeiriaid, megis wedi cau o'i amgylch, a'i gadw yn wahanol oddiwrth y rhan arall o'r deml, nid yw yn meddwl cau allan y Lefiaid eu brodyr, y rhai oll oeddynt yn gweini i'r offeiriaid yn y cyntedd hwnnw, ac nid yn gyffredinol yn un lle arall.

† Pan ddywed Josephus yma, fod llawr y deml nesaf allan, neu gyntedd y Cenhedloedd, trwy lafur mawr wedi ei gyfodi yn gyd-wastad, neu i gydradd uchder â llawr y deml du-fewnol, neu gyntedd yr offeiriad, rhaid ei fod yn meddwl hyn mewn ystyr ddiwahanol; canys efe a phawb eraill a gyttunant, fod y deml nesaf i mewn, neu gyntedd yr offeiriaid, ychydig o gufyddau yn uwch na 'r cyntedd canol, sef cyntedd Israel; ac mai llawer ychwaneg yr ydoedd cyntedd yr offeiriaid wedi ei godi amryw gufyddau yn uwch na'r cyntedd nesaf allan, yn gymmaint a bod cyntedd Israel yn is nag un, ac yn uwch na'r llall.

‡ Y Septuagint a ddywed, eu bod dair blynedd yn parottoi coed a cherrig tu ag at y deml, 1 Bren. v. 18. Ac er nad yw ein copi Hebr. na Josephus yn union-gyrch yn henwi nifer y blynyddoedd; etto y maent bob un yn dywedyd na ddechreuwyd ar yr adeilad ei hun hyd y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Solomon; a phob un a grybwyllant am barottoad y defnyddiau ym mlaen llaw: 1 Bren. v. 18. Hynaf. VIII. 5. ac y mae Josephus yno yn arwyddo, fod y parottoad tros amser maith hefyd cyn dechreu 'r gwaith. Nid oes un achos, gan hynny, i newid rhifedi'r Septuagint. Ond yr ydym i feddwl tair blynedd megis amser cymmwys y parottoad; yr hyn yr wyf fi wedi ei grybwyll yn fy nghyfrifiad o'r costau yn adeiladu y deml honno. Gwel ei descrifiad, pen. 13, ym mha le y nodir yr holl amser yn ddeng mlynedd a hanner.

§ 1 Bren. viii. 1.

‖ Y symmudiad parchus yma o'r arch o fynydd Seion i fynydd Moriah, yr hyn ydoedd belldra o dri chwarter milldir, sy'n gwrthwynebu tŷb yr Iuddewon presennol, a llawer o Gristionogion hefyd, megis pe un a fuasai y ddau fynydd yma; am yr hyn nid oes gennym, yn ol fy marn i, ond ychydig sail i'w gredu.

annhraethol o arogldarth, nes bod yr awyr o amgylch mor llawn o hono ag y gellid ei arogli gan drigolion o bellder mawr; ac oedd yn arwyddo presennoldeb Duw, a'i drigfa gyd â hwynt yn yr adeilad newydd gyssegredig. Canys ni flinasant yn canu hymnau, neu yn dawnsio, nes y daethant i'r deml. Ac yn y modd hwn y dygasant yr arch. Ond pan ydoedd i'w chyflëu yn y lle sancteiddiolaf, y rhan arall o'r llïaws a aethant ymaith, a'r offeiriaid hynny yn unig y rhai a'i dygasant, a'i gosodasant rhwng y ddau gerub, y rhai yn cyffwrdd â hi â'u hadenydd, (canys felly y lluniasid hwynt gan y crefftwr,) a'i gorchuddiasant hi megis pabell. Yn awr nid oedd o fewn yr arch ddim ond y ddwy lech faen, yn cynnwys y deg gorchymmyn a roddasai Duw i Moses ym mynydd Sinai yn ysgrifenedig arnynt. Ond hwy a osodasant y canwyllbren, a'r bwrdd, a'r allor aur yn y deml, o flaen y lle dirgelaf, yn gymmwys yn yr un lleoedd ag y safasant cyn yr amser hwnnw yn y babell. Felly hwy a offrymmasant i fynu y beunyddiol aberthau. Ond am yr allor bres, Solomon a'i gosododd o flaen y deml, gogyfer a'r drws: fel pan agorid y drws, y byddai yn weledig, a'r defodau cyssegredig, a godidowgrwydd yr aberth yn amlwg i bawb oddi yno. A'r gweddill o'r holl lestri neu ddodrefn y tabernacl a gasglasant, ac a'u gosodasant yn y deml.

Yn awr mor gynted ag y darfu i'r offeiriaid osod pob peth mewn trefn o amgylch yr arch, a myned o honynt allan, cwmmwl a ddisgynnodd i lawr, ac a ymdaenodd mewn dull araf nes ei fyned i'r deml; y fath gwmmwl ydoedd ag oedd yn daenedig ac yn dymherus; nid y fath un garw ag a ganfyddwn yn llawn gwlaw yn y tymmor gauaf. Y cwmmwl hwn a dywyllodd y lle yn y fath fodd, fel na 's gallai yr offeiriaid adnabod eu gilydd; ond a gyfrannogodd i feddyliau pawb bortreiad gweledig, a gogoneddus ymddangosiad o ddisgyniad Duw i'r deml hon, ac o sefydliad ei babell yno. Felly y rhai oedd yn bresennol a lanwyd o ddifrifwch meddwl. Ond Solomon a gyfododd (canys yr oedd efe o'r blaen yn eistedd) ac a arferodd y fath eiriau tu ag at Dduw ag a dybiodd yn gyttûn â'r dwyfol berffeithrwydd eu derbyn, ac yn addas iddo yntau eu llefaru: canys efe a ddywedodd, "Ymae i ti dŷ tragywyddol, O Arglwydd! a'r cyfryw ag a greaist i ti dy hun, allan o'th weithredoedd dy hun: nyni a wyddom mai y nefoedd, yr awyr, y ddaear, a'r môr ydyw, trwy y rhai yr wyt ti yn treiddio; ac heb dy gynnwys o fewn eu terfynau. Myfi yn wir a adeiladais y deml hon i ti, ac er coffadwriaeth o dy enw, fel yn ol hyn, pan fyddom yn aberthu ac yn cyflawni defodau cyssegredig; gan anfon ein gweddiau i fynu i'r nefoedd, gan gredu dy fod di yn bresennol, ac nad wyt ym mhell oddi wrth dy eiddo. Canys a thydi yn gweled ac yn clywed pob peth, pan ryngo bodd it' drigo yma, nid wyt heb sylwi ar bob dyn, ond yn hytrach yr wyt yn dra agos at holl ddynolryw: ac yn enwedig yr wyt yn bresennol i'r rhai a weddiant arnat pa un bynnag ai nos ai dydd." Wedi iddo yn ddifrifol gyfarch Duw y modd hwn, efe a droes ei ymadrodd at y llïaws, gan arddangos iddynt gadarn allu a daioni rhagluniaeth Duw tu ag attynt. Y modd y rhagddangosodd bob peth oedd i ddyfod o amgylch i'w dad Dafydd, a bod amryw o'r pethau hynny eisoes wedi eu cyflawni, a'r hyn oedd yn aros a gyflawnid yn sicr yn ol hyn. A'r modd yr arwyddodd iddo ei enw, ac y mynegodd i Ddafydd yr hyn a fyddai cyn ei eni ef; ac a ragddangosodd pan fyddai efe yn frenin, yn ol marwolaeth ei dad, yr adeiladai iddo deml; yr hyn wedi 'r amser hwnnw a welsant ei gyflawni yn ol ei ragfynegiad ef; o herwydd paham efe a'u hannogodd i fendithio Duw, ac i gredu ynddo ar gyfrif y pethau a welsant eu cyflawni; a pheidio anobeithio am un dim a addawodd tros yr amser i ddyfod tu ag at eu happusrwydd, neu ammau dyfod o hono i ben.

Wedi i'r brenin lefáru fel hyn, efe a edrychodd drachefn tu a'r deml, a chan godi ei law ddehau uwch ben y dyrfa, efe a ddywedodd, "Y mae 'n amhossibl trwy 'r hyn a all dynion wneuthur, ddychwelyd diolchgarwch dyledus i Dduw am ei roddion y mae yn ei gyfrannu iddynt: canys nid yw 'r Duwdod yn sefyll mewn diffyg o ddim, ac y mae uwchlaw y fath dâl neu wobr gan ddynion. Ond cyn belled ac yr ydym, O Arglwydd! wedi ein gwneud gennyt ti, i ragori ar greaduriaid eraill, y mae 'n gweddu i ni fendithio

dy fawredd; ac y mae 'n angenrhaid i ni ddychwelyd i ti ddiolch am yr hyn a gyfrennaist at wneuthuriad ein tŷ, ac i genedl yr Hebreaid. Canys â pha offerynnau eraill y gallwn yn well dy lonyddu pan fyddych yn ddig wrthym; nac yn fwy priodol gynnal parhad o'th ffafr tu ag attom, na thrwy ein lleisiau? y rhai fel ag yr ydym yn eu cael o'r awyr, felly yr ydym yn gwybod mai trwy yr awyr hono y maent yn esgyn i fynu tu ag attat ti. Myfi gan hynny a ddylwn fy hun ddiolch i ti trwy 'r unrhyw, yn y lle cyntaf ymherthynas i'm tad, yr hwn a dderchefaist di o radd isel, i ogoniant mor fawr; ac yn y lle nesaf ymherthynas im' fy hun; gan dy fod wedi cwblhau yr hyn oll a lefarwyd am danaf hyd y dydd hwn. Ac yr wyf yn attolwg i ti tros yr amser i ddyfod i ganiattau i ni pa beth bynnag sydd gennyt allu, O Dduw! i'w gyfrannu i'r cyfryw ag wyt ti yn eu hoffi; ac i fawrhau ein tŷ tros bob cenhedlaethau, fel yr addewaist i'm tad Dafydd ei wneuthur, yn ei ddyddiau ei hun, ac yn ei farwolaeth; y byddai i'n teyrnas barhau; ac y byddai i'w hiliogaeth yn olynol ei meddiannu hyd ddeng mil o genhedlaethau. Na fetha gan hynny roddi i ni y bendithion hyn, a chyfrannu i'm plant y rhinweddau hynny, ag wyt ti yn ymhyfrydu ynddynt. Ac heblaw hyn oll, yr wyf yn attolygu arnat anfon rhyw gyfran o'th yspryd i lawr i gyfanneddu 'r deml hon; fel yr ymddangosech dy fod ti gyd â ni ar y ddaear. Am danat dy hun, nid yw yr holl nefoedd, ac anfeidrolder y pethau sydd o'i mewn, ond preswylfa fechan i ti; a llawer mwy felly yw y deml dlawd hon. Ond yr wyf yn erfyn arnat ei gadw, fel tŷ it' dy hun, rhag ei ddinystrio byth gan ein gelynion, a chymmeryd ei ofal fel dy etifeddiaeth dy hun. Os ceir y bobl hyn wedi pechu, a thrwy hynny cael eu cystuddio gennyt ti ag unrhyw bla oblegid eu hanwiredd; megis a newyn, haint, neu ryw gystudd arall, ag wyt yn arferol o ddwyn ar ddynion am droseddu dy sanctaidd gyfreithiau: ac os ffoant bawb o honynt i'r deml hon, gan ymbil arnat ti eu gwaredu hwynt, yna gwrando di eu gweddi, megis eu bod yn y tŷ hwn, a thrugarha wrthynt, ac achub hwynt o'u trallodion. Hefyd, yr ymwared hwn yr ydwyf yn ei ddeisyf gennyt, nid i'r Hebreaid yn unig, pan fyddont mewn cyfyngder, ond i ba rai eraill bynnag a ddel yma o unrhyw gwrr i'r byd, ag a ddychwelant oddiwrth eu pechodau, gan erfyn am faddeuant, yna maddeu di iddynt, a gwrando eu gweddiau. Canys wrth hynny y gwybydd pawb dy fod ti yn foddlon i adeilad y tŷ hwn: ac nad ydym ni ein hunain o natur anghymdeithasol, nac yn ymddwyn fel gelynion tu ag at y rhai nid ydynt o'n cenedl ni; ond yn ewyllysio i'th gymmorth di gael ei estyn i bob rhyw ddynion yn gyffredin, ac fel y mwynhäont y lleshad o'th ddaioni a gyfrannir iddynt."

Wedi i Solomon ddywedyd hyn, ac ymostwng ei hunan ar y llawr, ac addoli tros amser hir, efe a gyfododd i fynu, ac a ddug aberthau at yr allor; ac wedi ei llenwi ag offrymmau dianaf, efe a ganfu yn amlwg fod Duw gyd â boddlonrwydd wedi gwneuthur derbyniad o'r hyn oll a aberthodd iddo: canys fe ddaeth tân ar ei redfa trwy 'r awyr, ac a ruthrodd yn nerthol ar yr allor yngolwg pawb, gan ymaflyd yn, a difa yr holl aberthau. Yn awr wedi gweled yr arwyddion dwyfol yma, y bobl a ddychymmygasant mai tystiolaeth ydoedd o breswylfod Duw yn y deml, a'i fod yn foddlon iddi, a hwy a syrthiasant ar y llawr, ac a addolasant. Ar yr hyn y brenin a ddechreuodd fendithio Duw, a chynghori y lliaws i wneud yr unrhyw; megis rhai yn awr wedi cael arwydd digonol o hynawsedd ac ewyllys da Duw tu ag attynt; gan weddio fod iddynt bob amser gael y cyffelyb arwyddion ganddo; ac y byddai iddo gadw ynddynt yn barhaus feddwl rhydd oddiwrth bob drygioni mewn ymarferiad o gyfiawnder a chrefyddol addoliad; a bod iddynt barhau yn gwneuthur sulw o'r deddfau a roddes Duw iddynt trwy Moses; o herwydd y byddai trwy 'r moddion hynny i genedl yr Hebreaid barhau yn ddedwydd, ac yn wir yn bobl mwyaf gwynfydedig ym mhlith holl ddynolryw. Efe hefyd a'u cynghorodd i ystyried y moddion trwy y rhai y daethant i fwynhad o'u presennol freintiau, ac mai trwy 'r cyffelyb fodd yr oeddynt i'w cadw hwynt iddynt eu hunain, a'u cynnyddu yn fwy a rhagorach nag oeddynt yn bresennol. Canys nid digon oedd iddynt feddwl dderbyn o

honynt eu breintiau ar gyfrif eu duwioldeb a'u cyfiawnder; eithr nad oedd ffordd arall trwy ba un y gallent eu cadw ond hon tros amser i ddyfod: canys nid yw gymmaint peth i ddynion ddyfod i feddiannu yr hyn nid yw ganddynt, ag i wneuthur cadwraeth o hono yn ol ei gael, ac i beidio bod yn euog o un pechod trwy 'r hyn y gellir ei niweidio.

Felly wedi i'r brenin lefaru fel hyn, efe a ollyngodd ymaith y gynnulleidfa, ond nid cyn iddo gyflawni ei offrymmau, trosto ei hun, a thros yr holl Hebreaid. Yn gymmaint ag iddo aberthu dwy fil ar hugain o ychain, a chant ag ugain mil o ddefaid. Canys dyma 'r amser y cafodd y deml y prawf cyntaf o'r aberthau; a'r holl Hebreaid gyd â'u gwragedd a'u plant a wleddasant ynddi. Ië, heblaw hyn, y brenin y pryd hynny a gadwodd mewn modd godidog a threfnwych ŵyl y pebyll, o flaen y deml, am bedwar diwrnod ar ddeg; ac efe y pryd hynny a gydwleddodd gyd â'r holl bobl.

Wedi cyflawni 'r holl wasanaeth ar yr achos a'r ŵyl arbennig yma, ac heb ddim wedi ei adael yn ol a berthynai i'r dwyfol addoliad, y brenin a'u hanfonodd ymaith; a hwy bob un a aethant i'w trigfannau eu hunain: wedi diolch i'r brenin am y gofal a gymmerasai trostynt, a'r gwaith a gwblhäodd er eu mwyn; gan weddio Duw ar gadw o hono Solomon yn frenin arnynt tros hir amser. Hwy hefyd a ymdeithiasant tu ag adref tan orfoleddu a chanu hymnau i Dduw. Ac yn wir y pleser yr oeddynt yn ei fwynhau a gymmerodd ymaith deimlad y boen a'r lludded yr oeddynt tano yn eu dychweliad adref. Felly pan ddygasant yr arch i'r deml, a gweled ei godidowgrwydd, a chael eu gwneuthur yn gyfrannog o'r aberthau a offrymmwyd, ac o'r gwyliau a gadwasant, hwy a ddychwelasant i'w dinasoedd eu hunain. Ond breuddwyd a ddangoswyd i'r brenin yn ei gwsg, a hyspysodd iddo fod Duw wedi gwrando ei weddiau; ac y byddai iddo nid yn unig amddiffyn y deml, ond yn wastad breswylio ynddi; hynny yw, os byddai i'w hiliogaeth, a'r holl lïaws barhau yn gyfiawn. Ac am dano ei hun, os efe a barhäi yn ufydd i annogaethau ei dad, Duw a'i derchafai i radd annhraethol o fawredd a dedwyddwch; ac yna y byddai ei hiliogaeth yn frenhinoedd y wlad honno o lwyth Judah, yn dragywydd. Ond etto os byddai efe yn fradychwr o ordinhadau'r gyfraith, a'u hanghofio, a throi ymaith at addoliad duwiau dieithr, y torrai efe ef ymaith o'i wraidd; ac na adawai weddill o'i deulu i barhau; na wyliai tros bobl Israel, ac na chadwai hwynt yn hwy heb eu cystuddio, ond a'u llwyr ddifethai hwynt trwy ryfeloedd ac aflwyddiant; a'i bwriai allan o'r tir a roddasai efe i'w tadau, gan wneud iddynt grwydro mewn tiroedd dieithr; a rhoddi 'r deml a adeiladasid yn awr i fynu i'w llosgi a'i hyspeilio gan eu gelynion; a'r ddinas honno gael ei hollol ddadymchwelyd trwy eu dwylaw hwynt; a pheri i'w trallodion fod yn ddihareb, a'r fath na ellid yn hawdd eu credu gan eu hechryslonrwydd anghydmarol; nes i'w cymmydogion, pan glywent am danynt, ryfeddu wrth eu blinderau, ac ymofyn yn ddifrifol am yr achos, paham y bu i'r Hebreaid, y rhai gynt a dderchafasid gan Dduw i'r fath enwogrwydd a chyfoeth, gael eu gwrthod, a'u cashau yn y cyfryw fodd yn awr ganddo? ac y byddai 'r atteb a wnaid gan weddill y bobl trwy gyfaddefiad o'u pechodau, a throseddiad o gyfreithiau eu gwlad.*

## PENNOD V.

*Am y Tŷ Brenhinol a adeiladwyd gan Solomon; a'i Ddehongliad o'r Damhegion a ddanfonwyd iddo gan Hiram.*

AR ol adeiladu y deml, yr hon, fel y dywedasom o'r blaen, a orphennwyd mewn saith mlynedd, y brenin a osododd sylfeini ei dŷ † ei hun, yr hwn ni orphennwyd mewn llai na thair blynedd ar ddeg, canys nid oedd mor awyddus i ddwyn ym mlaen adeiladaeth ei dŷ ei hun, ag oedd efe yn adeiladaeth y deml. Canys er mai gwaith ehang ydoedd hwn, ag oedd yn gofyn y diwydrwydd mwyaf; etto Duw, i'r hwn y cyssegrasid ef, a gydweithiodd yn ei adeiladaeth mor bell, ag y gorphennwyd ef yn y rhifedi uchod o flynyddoedd. Ond y palas yr hwn a adeiladwyd yn llawer llai ei ardderchowgrwydd na'r deml, yn gystal oblegid na pharottowyd ei ddef-

* 1 Bren. ix. 1--9.

† 1 Bren. vii. 1--12.

nyddiau cyhyd ym mlaen llaw, ac ar gyfrif nad ydoedd ond trigfa i frenhinoedd, ac nid i Dduw, a fu 'n hwy yn cael ei orphen. Pa fodd bynnag, fe'i cyfodwyd mor harddwych ag oedd addas i 'stad ddedwyddol gwlad yr Hebreaid, ac i'w brenin hwynt. Ond y mae 'n angenrhaid im' ddescrifio yr holl adeilad, a dull y rhannau o hono; fel trwy hynny y byddo i'r rhai a ddarllenant y llyfr hwn fwrw amcan, ac fel pe b'ai, gael golwg ar ei ehangder.

Y tŷ hwn ydoedd adeilad ehang a chelfyddgar, yr hwn a adeiladodd Solomon i wrando achosion, ac i wneuthur sulw o achwynion. Yr ydoedd yn ddigon ehang i gynnwys corph mawr o ddynion, y rhai a ddeuent ynghyd i benderfynu eu hachosion. Yr ydoedd yn gan cufydd o hyd, a deg a deugain o led, a deg ar hugain o uchder; a gynnelid gan golofnau conglog, y rhai oeddynt i gyd o gedrwydd; ond ei gronglwyd ydoedd yn ol trefn y Corinthiaid,* gyd â phlyg-ddrysau, a'u colofnau cyssylltedig o gydradd faintioli, pob un wedi eu rhychu â thair ceuedd. Yr oedd hwn yn adeilad cadarn a thra addurniadol. Yr ydoedd tŷ arall wedi ei drefnu yn y fath fodd, fel ag yr oedd y cwbl o'i led yn gynnwysedig yn ei ganol. Adeilad pedwarongl ydoedd, a'i led yn ddeg cufydd ar hugain: yr ydoedd teml gyferbyn ag ef, wedi ei gosod i fynu ar nifer o golofnau; yn yr hon deml yr oedd ystafell wych ac ehang, ym mha un yr eisteddai 'r brenin wrth farnu. At hwn y cyssylltwyd tŷ arall wedi ei adeiladu i'r frenhines. Yr ydoedd hefyd adeiladau llai, i fwytta, ac i gysgu ynddynt, ar ol i fatterion cyhoeddus fyned trosodd; a'r rhai hyn oll a loriwyd â byrddau o gedrwydd. Rhai o honynt a adeiladodd Solomon â cherrig o ddeg cufydd; ac a ddyblodd y muriau â cherrig eraill ag oeddynt o werth mawr; y fath ag a gloddir o'r ddaear yn addurn i demlau, ac i wneuthur edrychiad hardd mewn palasau brenhinol; yr hyn sy'n enwogi y mwyn-gloddiau o'r rhai y cymmerwyd hwynt. Yn awr gosodiad celfyddus y cerrig hyn ydoedd yn dair rhes, ond y bedwaredd res a addurnid â cherfiadau o lun prennau, a phob math o blanhigion, gyd â'r cysgodau oddiwrth eu canghennau, a'r dail a grogai i lawr wrthynt. Y prennau a'r planhigion hyn a orchuddient y cerrig oedd islaw iddynt; a'u dail a weithid mor dra theneuon a manol, fel y tybygid eu bod ar symmudiad gan wynt. Ond y rhan arall o'r adeilad i fynu hyd y gronglwyd a blastrwyd trosodd, ac megis pe buasai wnïadwaith arno o amryw liwiau a lluniau. Efe a wnaeth adeiladau eraill i ymddifyrru ynddynt; a rhodfeydd helaeth ag ydoedd a'u sefyllfa mewn rhan gyfleus o'r palas; ac yn eu plith hwynt ystafell-giniawa ardderchog, i'w harferyd yn amser gwleddoedd; ac yn llawn o'r cyfryw ddodrefn ag oedd gymmwys i fod ynddi, er cyfleusdra i wahoddedigion; a'r llestri i gyd wedi eu gwneuthur o aur. Yn awr y mae 'n dra anhawdd cyfrif ehangder, ac amrywiaeth yr ystafelloedd brenhinol, pa sawl un ydoedd o'r ehangder mwyaf, a pha gynnifer o rai llai na hwynt; hefyd pa gymmaint o rai tan-ddaearol ac anweledig; cywreinrwydd y rhai a gymmerai yr awyr i mewn; a'r llwyni yn lleoedd o olygiadau mwyaf hyfryd, i ochelyd y gwres, a gorchuddio eu cyrph. Mewn gair, Solomon a wnaeth yr holl adeiladaeth o gerrig gwynnion, coed cedrwydd, aur, ac arian. Efe hefyd a addurnodd y cronglwydydd a'r muriau â meini gwerthfawr wedi eu gosod mewn aur, ac a'u harddodd yn yr un dull ag yr harddasai deml Dduw, ac â'r un meini. Efe hefyd a wnaeth iddo orseddfaingc fawr o ifori,† ac a'i lluniodd yn eisteddle barn a chyfiawnder, gyd â chwech o risiau i fyned iddi. Ar bob un o'r rhai, yn y naill ochr a'r llall, y gosodwyd llun dau lew, gyd â llun dau lew arall yn sefyll

* Y crybwylliad hwn gan Josephus am addurniadau Corinthiaidd yn adeiladaeth palas Solomon, a ymddengys megis wedi ei osod i lawr yma, mewn ffordd o ragdderbyniad. Canys er ei fod yn ymddangos i mi, fod y dull heneiddiaf o adeiladu gan y Groegiad a'r Rhufeiniaid wedi ei gymmeryd oddiwrth deml Solomon, megis eu pattrwm hynaf: etto nid yw mor amlwg fod y drefn ddiweddaf, a mwyaf addurniadol o eiddo 'r Corinthiaid o gymmaint hynafiaeth. Er fod yr hyn a ddywed yr un Josephus yn ei Hanes o'r Rhyf. V. 5. fod un o byrth teml Herod wedi ei gwneuthur yn ol dull neu drefn y Corinthiaid, nid yw mewn un modd yn annhebyg; gan fod y drefn honno, yn ddiddadl, yn llawer hun na theyrnasiad Herod. Pa fodd bynnag, wedi gradd o brofiad, yr wyf yn cyfaddaf na ddarfu i mi hyd yma ddeall yn gyflawn drefn adeiladaeth y palas yma o eiddo Solomon; nac wrth y descrifiad a roddir o hono yn ein Biblau; na chyd ag ychwaneg gynnorthwy o'r descrifiad yma gan Josephus. Felly ni chwanegaf fwy o nodau yn ei gylch. Yn unig gall y darllennydd yn hawdd sylwi gyd â mi, fod mesurau yr adeilad cyntaf yma yn Josephus, sef 100 cufydd o hyd, a 50 cufydd o led, yn gymmwys yr un fesur arwynebol a chyntedd tabernacl Moses; ac uniawn hanner aroura neu acre yr Aipht.

† 1 Bren. x. 18.

uwchlaw iddynt hefyd. Ond wrth eisteddle yr orseddfaingc, llun dwylaw a ymestynnent allan i dderbyn y brenin; a phan eisteddai y cwrr ol, efe a bwysai ar lun hanner ŷch, yr hwn a edrychai tu a'i gefn; er hynny y cwbl a glymmid ynghyd ag aur.

Wedi i Solomon gwblhau hyn i gyd mewn ugain * o flynyddau, o herwydd i Hiram, brenin Tyre, ei ddiwallu â llawer o aur, a mwy o arian tu ag at yr adeiladau hyn, ynghyd a chedrwydd a phinwydd, efe a wobrwyodd Hiram ag anrhegion cyfoethog; ŷd a anfonodd iddo hefyd flwyddyn ar ol blwyddyn, a gwin ac olew, y rhai oedd y pethau ag y safai mewn eisiau pennaf o honynt, o herwydd ei fod yn preswylio mewn ynys, fel y crybwyllasom eisoes. Ac heblaw hyn efe a ganiattaodd iddo ugain dinas yn Galilea, y rhai nid oeddynt neppell o Tyre; y rhai pan aeth Hiram iddynt, a'u hedrych, ac heb ymfoddloni yn y rhodd, efe a ddanfonodd air at Solomon, nad oedd y fath ddinasoedd a hwynt yn eisiau arno ef. Ac ar ol yr amser hwnnw y dinasoedd hyn a elwid tir Cabul; yr hwn enw os cyfieithir yn ol iaith y Pheniciaid, a arwydda yr hyn nid yw wrth fodd. Ymhellach brenin Tyre † a anfonodd resymmau cyfrwysgall, a damhegol ddywediadau at Solomon, ac a ddymunodd iddo ddychwelyd eu dehongliad. Yn awr mor ddeallus a synhwyrol oedd Solomon, fel nad oedd dim o'r cwestiwnau hyn yn rhy galed iddo ; ond efe a ragorodd arnynt oll trwy ei ymresymiadau, gan ddatguddio eu hystyr ddirgelaidd, a'u dwyn i oleuni. Menander hefyd yr hwn a gyfieithodd hynaf gofion y Tyriaid o briodol iaith y Pheniciaid i'r iaith Roeg, sy 'n crybwyll am y ddau frenin yma, lle y mae 'n dywedyd, "Wedi marw Abibalus, ei fab Hiram a dderbyniodd y deyrnas oddiwrtho ef; yr hwn wedi iddo fyw dair blynedd ar ddeg a deugain, a deyrnasodd dair ar ddeg ar hugain. Efe a gyfododd fryncyn yn yr ehang-le, ac a gyssegrodd y golofn aur sydd yn nheml Jupiter. Efe hefyd a aeth, ac a dorrodd i lawr ddefnyddiau o brennau allan o'r mynydd a elwir Libanus, yn gronglwyd i demlau: ac wedi tynnu i lawr demlau hynafiaethol, efe a adeiladodd deml Hercules ac Astarte; ac efe a osododd gyntaf deml Hercules yn y Peritius. Efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Euchii neu Titii,‡ y rhai ni thalent eu teyrnged; ac wedi eu darostwng iddo ei hun, efe a ddychwelodd. Tan y brenin hwn yr ydoedd Abdemon, dyn ieuangc mewn oedran, yr hwn bob amser a orchfygai y cwestiwnau anhawdd a orchymmynodd Solomon, brenin Jerusalem iddo eu deongli." Dius hefyd a grybwyllodd am dano ef, pan ddywedodd, "Wedi marw Abibalus, Hiram ei fab a deyrnasodd yn ei le. Efe a gyfododd yn uwch y rhan ddwyreiniol o'r ddinas, ac a'i gwnaeth yn helaethach. Efe hefyd a gyssylltodd deml Jupiter, yr hon o'r blaen a safai wrthi ei hun, â'r ddinas, trwy gyfodi bryn yn y canol rhyngddynt, ac efe a'i haddurnodd â rhoddion o aur. Ymhellach efe a aeth i fynu i fynydd Libanus, ac a dorrodd i lawr ddefnyddiau o goed, at adeiladaeth y temlau." Dywed hefyd i "Solomon yr hwn y pryd hynny oedd frenin yn Jerusalem, anfon damhegion at Hiram; gan ewyllysio cael y cyffelyb oddiwrtho ef; ond bod i'r neb na allai eu deongli dalu swm o arian i'r hwn a'u deonglai; a darfod i Hiram wneuthur derbyniad o'r ammodau; a phan na 's gallodd ddattod y cwestiwnau, iddo dalu llawer o arian yn fforffed. Ond iddo yn ol hynny ddeongli y damhegion a roddid iddo, trwy gynnorthwy Abdemon, dyn o Tyre: ac i Hiram gynnyg damhegion neu gwestiwnau eraill, y rhai pan na allodd Solomon eu dattod, efe a dalodd yn ol lawer o arian i Hiram." Dyma 'r hyn a ysgrifennodd Dius.

## PENNOD VI.

*Am Amddiffynfeydd Jerusalem, ac adeiladaeth Dinasoedd eraill gan Solomon; ei ddarostyngiad o rai o'r Canaaneaid, a'i roesawiad o Frenhines yr Aipht ac Ethiopia.*

YN awr § pan welodd y brenin fod muriau Jerusalem yn sefyll mewn diffyg o gael eu hadgyweirio a'u gwneud yn gadarnach; (canys efe a farnodd y dylai 'r muriau a amgylchynai Jerusalem gyfatteb i enwogrwydd y ddinas,)

* O'r Fl. 1052 hyd 1032. C. C.

† Ynghylch Bl. 1030.

‡ Ysgatfydd y Tyriaid.

§ Ynghylch Bl. 1025.

efe a'u hadgyweiriodd ac a'u cyfododd yn uwch, ac a wnaeth, dyrau mawrion arnynt: efe hefyd a adeiladodd ddinasoedd a ellid eu cyfrif gyd â'r rhai cadarnaf. Hazor a Megido; a'r drydedd, Gezer, yr hon a berthynai i'r Philistiaid; ond Pharaoh, brenin yr Aipht, a wnaethai ymgyrch i'w herbyn, gan ei gwarchae a'i chymmeryd trwy drais: ac wedi lladd ei holl drigolion, efe a'i llwyr ddadymchwelodd, ac a'i rhoddodd yn anrheg i'w ferch a briodasai Solomon. Oblegid y rheswm hwn y brenin a'i hail-adeiladodd fel dinas o gadernid, yr hon a allai fod o ddefnydd mewn rhyfeloedd, a chyfnewidiadau sydd weithiau yn digwydd mewn llywodraeth. Ymhellach, efe a adeiladodd ddwy ddinas arall heb fod neppell oddi wrthi: Bethhoron ydoedd enw un o honynt, a'r llall oedd Baalath. Efe hefyd a adeiladodd ddinasoedd eraill oedd yn gorwedd yn gyfleus i'r rhai hyn, mewn trefn i fwynhau difyrrwch a phleser ynddynt; y fath ag ydoedd yn naturiol ag awyr iach a thymmerus ynddynt; ac yn gyfleus i addfedrwydd ffrwythau yn eu hiawn dymmor, ac a ddwfrhaed â ffynhonnau. Ië, fe aeth Solomon cyn belled a'r diffeithwch uwchlaw Syria, ac a'i gwnaeth yn feddiant iddo ei hun, ac a adeiladodd yno ddinas dra ehang, yr hon oedd a'i phellder yn daith deuddydd o Syria uchaf; ac yn daith diwrnod oddiwrth Euphrates; a thaith chwe diwrnod o Babilon fawr. Yn awr y rheswm paham y gorweddai y ddinas hon yn y fath belldra oddiwrth barthau preswyliedig Syria yw hyn; o herwydd na cheir islaw iddi ddim dwfr; ac oblegid mai yn y lle hwnnw yn unig y ceir ffynhonnau a phydewau dwfr. Wedi iddo gan hynny adeiladu y ddinas hon, a'i hamgylchynu â muriau tra chedyrn, efe a roddes iddi yr enw Tadmor; a hwnnw yw 'r enw ar ba un y * gelwir hi hyd heddyw, yn mhlith y Syriaid; ond y Groegiaid a'i galwant Palmyra.

Yn awr Solomon y brenin ydoedd y pryd hyn yn prysur adeiladu y dinasoedd yma. Ond os gofyn neb paham yr oedd holl frenhinoedd yr Aipht, o Menes, yr hwn a adeiladodd Memphis, ac ydoedd lawer blwyddyn yn foreuach na 'n tad Abraham, hyd Solomon, pan ydoedd yr amseriad rhyngddynt yn fwy nag un mil a thri chant o flynyddau, yn cael eu galw yn Pharaoiaid, ac a gymmerasant yr enw oddiwrth y Pharaoh ydoedd yn byw ar ol y brenhinoedd yn y cyfrwng uchod o amser? Yr wyf yn gweled yn gymmwys i mi hyspysu yn ei gylch; a hyn mewn trefn i feddyginiaethu eu hanwybodaeth, ac i wneuthur yr achos o'r enw hwnnw yn adnabyddus. Pharaoh yn nhafodiaeth yr Aipht sy'n arwyddo brenin. † Ond yr wyf yn tebygu wneuthur o honynt ddefnydd o enwau eraill o'u mebyd: ond pan wnaethpwyd hwy yn frenhinoedd, hwy a'u newidiasant i'r enw ag oedd yn eu hiaith eu hunain yn arwyddo eu hawdurdod. Fel hyn yr oedd hefyd i frenhinoedd Alecsandria, y rhai o'u dechreuad a elwid ar enwau eraill, pan feddiannent y deyrnas cymmerent yr enw Ptolemiaid, oddiwrth eu brenin cyntaf. Yr ymerawdwyr Rhufeinaidd hefyd o'u genedigaeth a elwid wrth enwau eraill; ond yn ol hynny Cæsariaid, trwy fod eu hymerodraeth a'u huchelfraint yn trosglwyddo yr enw neu'r titl hwnnw iddynt, ac nid yn goddef iddynt barhau yn yr enwau a roisai eu tadau iddynt. Yr wyf yn tybied hefyd fod Herodotus o Halicarnassus, pan ddywedodd fod tri chant a deg ar hugain ‡

* Y mae 'n beth tra adnabyddus, ac yn sulw cywir, o eiddo Ammianus Marcelinus, yn agos i ddechreu ei XIV llyfr, na bu henwau lleoedd, yn ol y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, erioed ym mysg pobl drigiannol Syria; yr hwn yw y rheswm, paham y mae y rhan fwyaf o leoedd yn cynnal eu henwau dechreuol hyd y dydd hwn. Hyn mewn effaith yw nod Mr. Maundrel, t. d. 53; ac sydd yn cwbl gyttuno â sulw Josephus yma. Y mae gennym weddill hanes y Tadmor neu 'r Palmyra yma, yn ein Philos. Transact. No. 318, i'r hwn yr wyf yn cyfarwyddo'r darllennydd.

† Yr arwyddoccad yma o'r enw Pharaoh a ymddengys yn wir. A Mr. Reland ei hun a ddywed, "Piouro yn iaith Coptic, yw brenin; yr hyn a alwai y Groegiaid Pharaô." Yr hyn y mae Josephus yn ei chwanegu yn fuan, mai yn ol ei gopi ef, na alwyd un brenin yr Aipht yn Pharaoh ar ol tad-ynghyfraith Solomon, yr hyn nid yw cystal yn cyttuno â'n copiau ni; y rhai tros hir amser wedi sydd ganddynt yr enwau Pharaoh Nechoh, a Pharaoh Hophra, 2 Bren. xxiii. 29. Jer. xliv. 30. heblaw mynych grybwylliad o'r enw yn y prophwydi. Pa fodd bynnag, Josephus yn ei ymadrodd ei hun wrth yr Iuddewon, (Hanes y Rhyf. V. 9.) sy 'n llefaru am Nechao, yr hwn hefyd a elwid Pharaoh; megis enw y brenin hwnnw yn yr Aipht, yr hwn y bu i Abraham a wnelai ag ef; am yr hwn Nechao nid oes gennym yn un lle arall ddim crybwylliad, hyd ddyddiau Josiah, ond yn unig am Pharaoh. Ac yn wir y mae'n rhaid i ni gyfaddef fod gennym fwy o gamsyniadau wedi ei wneud gan Josephus, a'r rhai hynny yn perthyn i frenhinoedd yr Aipht, ac i'r frenhines honno o'r Aipht ac Ethiopia, yr hon a ddychymmygodd iddi ddyfod i weled Solomon, nac agos yn un lle arall o'i holl Hynafiaethau; a'r rhai a gymmerir sulw neillduol o honynt gan Bochart, yn ei Phaleg. II. 26. Am yr achosion o'r fath gamsyniadau ni fedraf roddi un cyfrif.

‡ Am y 330 brenhinoedd hyn yn yr Aipht, a'u bod mewn mesur yn achlysurol ac nid yn ddilynol, gwel Daflen Amseryddiaeth o'm gwaith fy hun.

o frenhinoedd yn yr Aipht yn ol Menes, yr hwn a adeiladodd Memphis, ni fynegodd gan hynny i ni eu henwau, o herwydd eu galw yn gyffredin Pharaoiaid; canys yn ol eu marw, pan deyrnasai eu brenhines, gelwid hi wrth yr enw Nicaule;* megis wrth hynny yn arddangos, mai tra 'r oedd y brenhinoedd o lin wrrywaidd, ac felly yn dderbynwyr yr un enw, pan nad oedd felly i wraig, efe gan hynny a ddododd i lawr iddi yr enw na's gallai ei gael o naturiaeth. Ymherthynas im' fy hun, mi ganfyddais allan o'n llyfrau, na ddarfu ar ol Pharaoh, tad-ynghyfraith Solomon, i un brenin arall o'r Aipht arferyd yr enw hwnnw; ac mai yn ol hynny y bu i frenhines yr Aipht ac Ethiopia ddyfod at Solomon, ymherthynas i'r hon y cawn hyspysu'r darllennydd rhag llaw. Ond mi grybwyllais yn awr am y pethau hyn, fel y gallwyf brofi fod ein llyfrau ni, ac eiddo 'r Aiphtiaid mewn llawer o bethau yn cyttuno.

Y brenin Solomon a ddarostyngodd iddo ei hun weddill y Canaaneaid, na ymostyngasant hyd yn hyn; y rhai hynny wyf yn ei feddwl a drigasant ym mynydd Lebanon, cyn belled a'r ddinas Hamath, ac a orchymmynodd iddynt dalu teyrnged. Efe hefyd a ddewisodd allan o honynt bob blwyddyn y cyfryw ag a'i gwasanaethai ym mhob swydd waelaf o amgylch ei dŷ, ac i ddilyn hwsmonaeth. Canys nid oedd neb o'r Hebreaid yn wasanaethwyr yn y fath swyddau isel. Ac nid oedd yn rhesymmol, wedi i Dduw ddwyn cynnifer o genhedlaethau tan eu hawdurdod, fod iddynt ddarostwng eu pobl eu hunain i'r fath ymarferion mewn bywyd, yn hytrach na rhai o genhedlaethau eraill. Ond yr oedd yr Israeliaid yn rhwym i achosion rhyfel, a than arfau; ac wedi eu gosod yn olygwyr ar y cerbydau a'r meirch, yn hytrach nac yn dilyn bywyd caeth-weision. Efe hefyd a appwyntiodd bum cant a deg a deugain o lywodraethwyr ar y Canaaneaid hynny, y rhai a ddarostyngasid i'r cyfryw gaeth-wasanaeth; gofal y rhai a dderbyniasant gan y brenin, i'w hyfforddi yn y fath lafur a gorchwylion ag ydoedd wasanaethgar.

Y brenin hefyd a wnaeth lawer o longau,† yn angorfa Aiphtaidd y Môr coch, mewn lle a elwid Ezion-geber; ond yn awr a elwir Berenice; ac heb fod ym mhell oddiwrth y ddinas Eloth. Y wlad yma a berthynodd gynt i'r Iuddewon, ac a ddaeth yn gyfleus i longwriaeth, trwy gynnorthwy Hiram, brenin Tyre. Canys efe a ddanfonodd yno nifer digonol o long-lywyddion, a'r cyfryw ag ydoedd gyfarwydd mewn morwriaeth: i ba rai y rhoddodd Solomon orchymmyn, ar iddynt fyned gyd â'i oruchwylwyr ef i wlad a elwid gynt Ophir, ‡ ond yn awr Aurea Chersonesus, yr hon a berthyn i India, i ymofyn aur iddo. Ac wedi iddynt gynnull pedwar cant § o dalentau ynghyd, hwy a ddychwelasant at y brenin.

Yr ydoedd y pryd hynny frenhines ar yr Aipht ac Ethiopia; ‖ yr hon oedd ymofyngar mewn philosophyddiaeth, ac un oedd ar gyfrifon eraill i'w rhyfeddu. Pan glybu y frenhines hon am rinweddau a doethineb Solomon, yr oedd ganddi feddyliau mawr am gael ei weled ef: a'r sôn a gerddai o amgylch beunydd am dano a barodd ynddi chwennychiad i ddyfod atto; gan ewyllysio boddloni ei hun â phrofiad, ac nid â gwrandawiad noeth yn unig. (Canys chwedlau a glywir fel hyn ydynt dueddol ddigon i gydsynio â gau-dŷb; pan yr ydys yn cyfan orphwys ar eirda yr adroddwyr:) felly hi a ymroddodd i ddyfod atto ef, a hynny yn bennaf mewn trefn i gael prawf o'i ddoethineb, pan osododd gwestiwnau o fawr anhawsdra ger ei

* Ysgatfydd Nitocris † Ynghylch Bl. 1024.

‡ Yr hyn y mae Josephus yn ei gadarnhau yma, fod Ophir, neu fel y mae efe, a chopiau 'r Septuagint yn ei sillafu Sophir, yr un ag Aurea Chersonesus, neu yn hytrach gyd a'r ynys gyssylltiedig Taprobane, a elwir yn awr Ceylon, sydd gyttunol a thybiau yr enwog Bochart, Canaan I. 46. Ond nid yw etto mor sicr ag i gyttuno yn ei gylch gan bawb arall. Gwel nod ar IX. 1.

§ Pedwar cant ag ugain, 1 Bren. ix. 28.

‖ Mai y frenhines Sabaca yn Arabia Ddeheuol, ydoedd y frenhines Sheba hon, ac nid yr Aipht ac Ethiopia, fel y dywed Josephus yma, yw 'r hyn ag y cyttunir yn gyffredinol, fel y tybiaf yn ei gylch. Ac fel y gwybyddir yn dda fod Sabaca yn wlad agos i'r môr yn neheubarth Arabia Ffelix, yr hon oedd yn gorwedd i'r dehau o Judea hefyd; a chan fod ein Iachawdwr yn galw y frenhines hon, Brenhines y Dehau; ac yn dywedyd ei dyfod o eithafoedd y ddaear, Matth. xii. 42. Luc xi. 31. yr hwn ddescrifiad sy'n cyttuno yn well a'r Arabia hwn, nac â'r Aipht ac Ethiopia, ychydig sydd o achos i ammeu y matter yma. Y camgymeriad cyffredin, yr hwn sydd lawer hŷn na Josephus, ie, cyn hyned a chyfieithiad y Septuagint, fod Cush yn arwyddo Ethiopia y tu hwynt i'r Aipht, yr hyn a ddarfu i Bochart gyflawn brofi ei fod yn arwyddo Arabia; Phaleg. IV. 2. mae 'n debygol a gamarweiniodd Josephus i wneuthur y casgliad hwn.



SOLOMON VISITED BY THE QUEEN OF EGYPT.

Published by J. & J. Cundee, Albion Press, London – 1812.

fron ef, ac attolygu iddo ddatguddio eu hystyr dirgeledig. Yn ganlynol hi ddaeth i Jerusalem gyd â gwychder mawr, mewn gwisgiad a dodrefn harddwych; canys hi ddygodd gyd â'i chamelod yn llwythog o aur, amryw ber-lysiau, a meini gwerthfawr. Yn awr wedi cael derbyniad croesawgar gan y brenin, efe a ddangosodd ynddo ddymuniad mawr i'w boddhau hi, gan amgyffred gyd â hawsdra yn ei feddwl ystyr y cwestiynau a osododd hi o'i flaen; efe a'u deonglodd yn gyflymach nag a allasai neb ei ddisgwyl. Felly hi a ryfeddodd wrth ddoethineb Solomon, ac a ganfu ei fod yn rhagorach wrth ei brofi nag a glywsai trwy adrodd am dano ym mlaen llaw. Rhyfeddodd hefyd wrth harddwch ac ehangder ei dŷ brenhinol, ac nid llai felly wrth drefnusrwydd ei 'stafelloedd; canys hi sylwiodd fod y brenin yn hynny wedi dangos doethineb mawr. Ond hi a synnodd uwchlaw mesur pan welodd y tŷ a elwid coedwig Lebanon:* megis hefyd wrth ardderchowgrwydd ei fwrdd beunyddiol, ac amgylchiad ei barottoad a'i weinidogaeth, gyd â gwisgiadau ei weision oedd yn gweini iddo, a threfnusrwydd eu gwasanaeth. Ac nid ydoedd yn llai yn effeithio arni ddull y beunyddiol aberthau a offrymmid i Dduw, a'r driniaeth ofalus a arferai yr Offeiriaid a'r Lefiaid yn eu cylch. Pan welodd hyn yn cael ei wneuthur bob dydd, yr ydoedd tan syndod mwyaf o'i herwydd; yn gymmaint na 's gallai yn brin gynnwys y fath ryfeddod a barodd hyn yn enwedig iddi; ond a addefodd ar gyhoedd ei bwysfawrogrwydd ar ei meddyliau. Canys hi aeth ym mlaen yn ei hymddiddanion â'r brenin, ac wrth hynny a gyfaddefodd ei bod wedi ei gorchfygu â rhyfeddod, ynghylch yr hyn a rag-grybwyllwyd; ac a ddywedodd, "Yn wir, yr holl bethau, O frenin! ag a ddeuant yn adnabyddus i ni trwy adrodd, sy 'n dyfod gyd ag ansicrwydd am ein crediniaeth o honynt; ond am y pethau daionus a berthyn i ti, ac wyt yn feddiannol o hono, fy meddwl yw, dy bwyll a'th ddoethineb, a'r dedwyddwch a ddaw i ti oddiwrth dy deyrnas; yn sicr dy glod a gyrhaeddodd hyd attom ni nid ydoedd ffugiol; yr oedd y sôn am danat nid yn unig yn wir, ond ym mhell islaw y graddau ag wyf yn awr yn ei ganfod â'm llygaid. Canys ymherthynas i'r sôn, nid oedd ond yn unig ymdrechu i berswadio ein gwrandawiad; ond ni wnaeth yn adnabyddus fawredd y pethau eu hunain yn y fath fodd ag y gwnaethpwyd gan yr olwg arnynt, a bod yn bresennol yn eu mysg. Myfi yn wir yr hon ni chredais yr hyn a adroddwyd i mi, o herwydd lliosogrwydd a mawredd y pethau a ymofynnais am danynt, ydwyf yn eu gweled yn llawer mwy o nifer nac y soniwyd eu bod. Yn ganlynol, yr wyf yn cyfrif y bobl Hebreaidd, yn gystal a'th weision a'th gyfeillion, yn ddedwydd, y rhai sydd yn mwynhau dy bresennoldeb, ac yn gwrando dy ddoethineb bob dydd yn barhaus. Gallai un gan hynny fendithio Duw yr hwn a garodd y wlad hon, a'r rhai sydd yn preswylio ynddi yn gymmaint, a'th wneuthur di yn frenin drostynt."

Yn awr wedi i'r frenhines amlygu y modd hwn fel yr effeithiwyd arni gan yr hyn a berthynai i'r brenin; hi a wnaeth hynny yn adnabyddus trwy amrywiol anrhegion. Canys hi a roddodd iddo ugain talent † o aur, a mesur anneirif o ber-lysiau, a meini gwerthfawr. Dywedant fod yn ein meddiant wreiddyn y balsam ‡ a dŷf etto yn ein gwlad, o roddiad y wraig hon. Solomon hefyd a ad-dalodd iddi â llawer o

* Pa un ai bod tŷ coedwig Lebanon yn Jerusalem, neu ei fod yn hytrach yn Balbec, rhwng Libanus ac Antilibanus, sydd yn ammheuol. Gwel ymherthynas i'r casgliad neu ddeongliad diweddaf, Authen. Rec. Rhan II. t. d. 887, 888.

† Cant ag ugain, Hebr a'r Septuag. yr hwn a feddyliwn yw 'r iawn nifer.

‡ Rhai a feiant Josephus am feddwl fod pren y balsam wedi ei ddwyn yn gyntaf allan o Arabia, yr Aipht, neu Ethiopia i Judea, gan y frenhines hon o Sheba; wedi i amryw dystio, mai yn yr hen amser, nad oedd gwlad arall yn dwyn y balsam gwerthfawr hwn ond Judea. Etto megis y darfu i'm dysgedig gyfaill Mr. Barker hyspysu i mi allan o Phaleg. Bochart, II. 26. ei fod nid yn unig yn gamsyniad fod y balsam yma yn perthyn yn unig i Judea, ond hefyd ei fod yn yr Aipht ac Arabia, ac yn neillduol ei fod i'w gael yn Sabæa: yr hon ddiweddaf ydoedd y wlad o'r hon Josephus, pe'i deallid heb fod o'r Aipht nac Ethiopia, ond Arabia, sy'n arwyddo y gallai 'r frenhines hon fod wedi ei ddwyn yn gyntaf i Judea. Hyn y mae Bochart yn ei brofi oddiwrth Agatharchides, Diodorus Siculus, ac Artemidorus, yn Strabo. Ac nid ydym i feddwl y gallai brenhines Sabæa yn hawdd adael ar ol y fath anrheg a'r pren balsam yma a werthfawrogid gan Solomon, os ydoedd ei dyfiant yn neillduol i'w gwlad ei hun. Ac nid yw y crybwylliad am balsam, megis yn cael ei ddwyn gan farchnadyddion, a'i anfon yn anrheg o Judea gan Jacob i lywodraethwr yr Aipht, Gen. xxxvii. 25, a'r xliii. 11, i wirio 'r gwrthwyneb: pan y mae 'r hyn ydym ni yno yn ei 'alw balm neu balsam, yn arwyddo yn hytrach y turpentin hwnnw, yr hyn a alwn yn awr turpentin Chio Cyprus, sûdd y pren turpentin, yn hytrach na'r balsam gwerthfawr hwn. Y diweddaf yw yr un gair hefyd ag ydym yn ei arfer gyd â'r cyffelyb gamgymmeriad, balm o Gilead. Dylid ei gyfieithu turpentin Gilead.

bethau daionus, ac yn bennaf trwy gyfrannu yr hyn a ddewisai o'i hewyllys ei hun. Canys nid oedd dim a ddymunai yn cael ei ommedd iddi ganddo ef. Ac fel yr oedd efe yn dra chymmwynasol a haelionus yn ei dymmer ei hun, felly y dangosodd fawrfrydigrwydd ei enaid yn cyfrannu iddi hi yr hyn a ddymunodd. Ac wedi i'r frenhines hon ar yr Aipht ac Ethiopia gael yr hyn a roesom eisoes gyfrif o hono, a chyflëu ger bron y brenin yr hyn a ddygasai gyd â hi, dychwelodd yn ol drachefn i'w theyrnas ei hun. *

## PENNOD VII.

*Am anneirif Gyfoeth Solomon; ei gariad at Wragedd dieithr, a Gwrthryfel dilynol Ader Jeroboam, ynghyd â marwolaeth Solomon.*

YNGHYLCH yr un amser † y dygwyd adref i'r brenin, o Aurea Chersonesus (gwlad a elwid felly) feini gwerthfawr, a choed pinwydd; a'r coed hyn a ddefnyddiodd yn gynnaliaeth i'r deml, a'r tŷ brenhinol; ac hefyd yn ddefnyddiau i offerynnau cerddoriaeth, telynau a saltringau; fel y gwnelid ymarferiad o honynt gan y Lefiaid wrth ganu mawl i Dduw. Y coed a ddygwyd iddo y pryd hyn oedd fwy o faintioli a theccach nag a ddygasid iddo o'r blaen. Ond na feddylied neb fod y pinwydd hyn yn debyg i'r rhai a enwir yn awr felly; y rhai a wahaniaethir gan y marsiandwyr a'u galwant ar yr enw hwnnw, fel y gallont ddodi mwy o werth arnynt i'r sawl a'u pwrcasant. Canys y pinwydd yr ydym ni yn sôn am danynt oeddynt i'r golwg yn debyg i goed y ffigysbren, ond yn wynnach a disgleiriach. Yn awr ni a ddywedasom gymmaint a hyn, fel na byddai neb yn anneallus o'r gwahaniaeth rhwng y coedydd yma, neu heb ei wneud yn hyspys o natur yr iawn binwydd.

Yn awr pwysau yr aur a ddygwyd i'r brenin ydoedd chwe chant a chwech a thrugain o dalentau; heb gynnwys yr hyn a ddygwyd gan y marsiandwyr; na'r hyn a roddwyd gan y toparchiaid a brenhinoedd Arabia iddo yn anrhegion. Efe hefyd a fwriodd ddau cant o fwccledi aur, a phob un a bwysai chwe chant o siclau. Hefyd efe a wnaeth dri chant o dariannau, a phob un yn pwyso tri phwys o aur: ac efe a'u rhoddodd i'w cymmeryd ymaith, a'u dodi yn y tŷ a elwid coedwig Lebanon. Gwnaeth hefyd gwppanau aur, ac o feini gwerthfawr, i'w harferyd gan ei wahoddedigion, ac a'u haddurnodd yn y modd cywreiniaf; ac efe a drefnodd fod i'w holl ddodrefn-lestri eraill gael eu gwneuthur o aur; oblegid nid oedd dim i'w brynu neu werthu y pryd hynny am arian. Canys yr oedd gan y brenin lawer o longau yn gorwedd ar y mor wrth Tarsus: y rhai hyn a drefnodd i ddwyn ymaith bob math o farsiandiaeth hyd at y cenhedloedd mwyaf pellennig; â gwerth y rhai y dygwyd arian ac aur i'r brenin, a llawer o ifori, ac Ethiopiaid, ac eppäod: a hwy a orphenasant eu mordwyad, trwy fyned a dychwelyd mewn yspaid tair blynedd.

Yn ganlynol fe aeth allan ‡ sôn mawr o gwmpas yr holl wledydd cymmydogaethol, ag oedd yn cyhoeddi rhinwedd a doethineb Solomon; yn gymmaint a bod yr holl frenhinoedd a chwennychiad ganddynt i'w weled; heb iawn goelio yr hyn a adroddid am dano, ar gyfrif ei fod mor ddieithr ac anghredadwy; hwy hefyd a ddangosasant y parch oedd ganddynt iddo, trwy yr anrhegion a ddanfonasant. Canys hwy a yrrasant iddo lestri o aur ac arian, gwisgoedd porphor, ac amryw fath o ber-lysiau; meirch, a cherbydau; a chynnifer o fulod i'w tynnu ag a feddyliasant yn gymmwys ac yn gymmeradwy yngolwg y brenin, trwy eu cryfdwr a'u harddwch. Y chwanegiad hwn a wnaeth efe at y cerbydau a'r meirch oedd ganddo o'r blaen oddiwrth y rhai a anfonasid iddo, a gynnyddodd rifedi ei gerbydau fwy na phedwar cant yn rhagor; canys yr oedd ganddo fil o'r blaen: § ac a chwanegodd at nifer ei feirch ddwy fil; canys yr oedd ganddo ugain mil o'r blaen. Y meirch yma hefyd a arferwyd i'r fath raddau, mewn trefn i wneuthur hardd ymddangosiad, a rhedeg yn gyflym, na's gallai neb rhai eraill, ar eu cymhariaeth, ymddangos yn harddach neu gyflymach; ond yr oeddynt ar unwaith yn harddaf o bob rhai eraill, a'u cyflymdra ydoedd yn anghydmarol

* 1 Bren. x. 13.

† Ynghylch Bl. 1020.

‡ Ynghylch Bl. 1018.

§ 1 Bren. x. 26.

hefyd. Eu marchogwyr oeddynt addurn chwanegol iddynt, y rhai yn y lle cyntaf oeddynt wŷr ieuaingc, ymlodau eu hoedrau, yn hynod o faintioli, ac yn uwch nag eraill o ran eu cyrph. Yr oedd eu gwallt yn dra llaes, yn crogi i lawr, ac wedi eu dilladu â gwisgoedd o borphor Tyre. Yr oeddid hefyd yn taenu llwch aur beunydd ar eu gwallt; fel yr oedd eu pennau yn gwreichioni gan adlewyrchiad yr haul arno. Y brenin ei hun a farchogai mewn cerbyd ynghanol y gwŷr hyn, y rhai oeddynt fyth yn arfog, a'u bwäau wedi eu cymhwyso wrthynt. Yr oedd ganddo wisg wen am dano; ac a arferai gymmeryd taith allan o'r ddinas yn y boreuau. Yr oedd rhyw le pendant ynghylch deg a deugain o 'stadau o Jerusalem, a elwid Etham;* yn dra hyfryd o ran gerddi, a mynych ffrydiau o ddyfroedd. Yno yr arferai fyned allan yn y boreu, gan eistedd yn uchel yn ei gerbyd.

Yn awr yr oedd synwyroldeb dwyfol gan Solomon ym mhob peth: ac yr oedd yn dra diwyd a manwl tu ag at gael pethau wedi eu gwneud mewn modd godidog. Felly ni esgeulusodd ofal y ffyrdd; ond efe a wnaeth droedffordd o gerrig duon ar hyd ochrau 'r ffyrdd oedd yn arwain i'w ddinas freinol Jerusalem; i'w gwneuthur yn gyfleus i drafaelwyr, ac i amlygu mawredd ei gyfoeth a'i lywodraeth. Efe hefyd a barthodd ei gerbydau, ac a'u gosododd mewn trefn reolaidd; fel y byddai nifer bendant o honynt ym mhob dinas, gan gadw etto rai wrth ei law; a'r dinasoedd hynny a alwodd yn ddinasoedd y cerbydau. A'r brenin a wnaeth yr arian mor aml yn Jerusalem a'r cerrig yn yr heolydd, ac a amlhäodd y cedrwydd yngwastadedd Judea, nad ydoedd yn tyfu o'r blaen yno, fel yr oeddynt yn debyg i liaws o sycamorwydd cyffredin.† Efe hefyd a ordeiniodd farsiandwyr yr Aipht a ddygent eu marsiandiaeth atto, i werthu cerbyd iddo, a phâr o feirch, am chwe chan drachmæ ‡ o arian; ac efe a'u hanfonodd i frenhinoedd Syria, ac i'r brenhinoedd hynny oedd tu hwnt i Euphrates.

Er fod Solomon yn awr wedi dyfod yn anrhydeddusaf o'r holl frenhinoedd; yr hwn a garwyd fwyaf gan Dduw, ac a ragorasai mewn doethineb a chyfoeth ar y rhai a fuasai lywodraethwyr ar yr Hebreaid o'i flaen: etto ni pharhaodd efe yn y cyflwr dedwydd hwnnw hyd ei farwolaeth. Ond efe a ymadawodd a'i sulw ar gyfreithiau ei dadau, ac a ddaeth i ddiwedd heb fod mewn un modd yn gweddu i'n hanes rhagflaenol o hono. Efe a dyfodd yn wallgofus mewn serch ar wragedd, heb osod un terfyn iddo ei hun yn ei chwantau. Ac ni foddlonai ar ferched yn unig o'i wlad ei hun; ond efe a briododd amryw o wledydd dieithr; Sidoniaid, Tyriaid, Ammoniaid, ac Edomiaid; ac efe a droseddodd gyfreithiau Moses, y rhai a waharddodd i Iuddewon briodi neb ond rhai o'u cenedl eu hun. Efe hefyd a ddechreuodd addoli eu Duwiau hwynt; § yr hyn a wnaeth mewn trefn i foddio ei wragedd, ac o'i serch arnynt hwy. Yr hyn beth a ddarfu ein deddfwr ei ammau a'i ragweled, ac felly ein rhybuddio ym mlaenllaw, na phriodem fenywod o wledydd eraill, rhag ein dyrysu â'u defodau ac â'u harferion hwynt, ac ymwrthod â'r eiddo ein hunain: rhag i ni esgeuluso anrhydeddu ein Duw ein hunain, ac addoli eu heilunod hwy. Ond yr oedd Solomon wedi syrthio bendramwnwgl i bleserau afresymmol, heb ofalu am y rhybuddion hyn. Canys wedi iddo briodi saith gant ‖ o wragedd, merched i dywysogion a gwŷr enwog, a chanddo dri chant o ordderch-wragedd, heblaw merch Pharaoh, brenin yr Aipht, efe yn fuan a lywodraethwyd ganddynt, nes iddo ddy-

* Pa un a ydoedd y gerddi hawddgar yma, a'r ffrydiau dwfr yn Etham, ynghylch chwe' milldir o Jerusalem, i ba fan y marchogai Solomon mor fynych mewn mawredd, yn cael cyfeirio attynt yn Eccles. ii. 5, 6; ym mha le y dywed, wneuthur o hono iddo ei hun erddi a pherllannau, a phlannu ynddynt brennau o bob ffrwyth; a gwneuthur iddo lynnau dwfr, i ddyfrhau â hwynt y llwyni oedd yn dwyn coed: ac i'r rhan deccaf o'r rhai fe ymddengys fel yn cyfeirio, pan yn y Caniadau y mae yn cymmaru ei ddyweddi i ardd gauedig, ffynnon gloedig, a ffynnon seliedig, pen. iv.12. (rhan o ba ffynhonnau sydd etto yn weledig, fel y mae Mr. Maundrel yn hyspysu i ni, t. d. 87, 88.) ni ellir yn awr gyd â sicrwydd ei benderfynu; ond a debygid ei fod felly. Ond pa un a oes gan yr Etham hon unrhyw berthynas â'r afonydd hynny o Etham, y rhai gan ragluniaeth a sychwyd i fynu, mewn modd gwyrthiol; Sal. lxxiv. 15. yn y Septuag. a'r Gosod. Apost. VIII. 12. t. d. 402, nis gallaf ei fynegi.

† 1 Bren. x. 27. ‡ Dwy fil a phedwar cant o siclau, neu 285 pwys.

§ Ynghylch Bl. 999 C. C.

‖ Y saith gant yma o wragedd, neu ferched gwŷr enwog, a'r 300 o ordderch-wragedd, merched o radd isel, sy'n gwneud i fynu oll 1000; y rhai oeddynt, fel y tebygaf, y merched hynny a arwyddir mewn lle arall gan Solomon ei hun, pan y mae'n dywedyd na chafodd un wraig dda ym mysg y rhifedi hwnnw, Eccles. vii. 28.

fod i ddilyn eu harferion hwynt. Gwnaethant iddo ddangos hyn fel arwydd o'i diriondeb a'i serch tu ag attynt, i ymddwyn yn ol cyfreithiau eu gwledydd hwynt. Ac fel y tyfodd mewn blynyddoedd, a'i reswm yn myned yn wannach trwy feithder amser, nid oedd ddigon iddo alw i'w gof osodiadau ei wlad ei hun; felly o hyd efe a aeth fwyfwy ym mlaen i ddirmygu ei Dduw ei hun, ac a barhaodd i ddangos parch i'r duwiau ag oedd ei briodasau wedi eu dwyn i mewn. Iё, cyn i hyn ddigwydd, efe a bechodd, ac a syrthiodd i gyfeiliornad ynghylch iawn sulw ar y cyfreithiau, pan y gwnaeth luniau ychain * o bres, ag oedd yn cynnal y môr pres, a lluniau llewod o amgylch ei orsedd ei hun: canys y rhai hyn a wnaeth, er nad oedd yn gyttunol â duwioldeb i wneuthur hynny; ond ni fynnai ei attal, er yr annogaethau a roesai ei dad iddo, yr hwn oedd battrwm mwyaf rhagorol o bob rhinwedd dda; ac fe wyddai pa eirda a pharch i'w enw a adawsai o'i ol, oblegid ei grefydd a'i ffyddlondeb tu ag at Dduw. Ac ni ddilynodd efe Dafydd, er i Dduw ymddangos iddo ddwywaith yn ei gwsg, a'i annog i wneuthur hynny. O herwydd paham daeth prophwyd atto, wedi ei anfon gan Dduw, ac a ddywedodd wrtho, nad oedd ei weithredoedd annuwiol yn guddiedig oddiwrth Dduw; ac a'i bygythiodd na fyddai iddo lawenhau yn hir yn yr hyn a wnaethai: ac er na fyddai i'r deyrnas gael ei chymmeryd yn wir oddiwrtho ef, tra fyddai byw; o herwydd i Dduw addaw i'w dad Dafydd y byddai lywodraethwr yn ei le ef; ond y cymmerai ofal i beri i hyn gymmeryd lle yn amser ei fab, wedi ei farw ef. Nid y byddai iddo dynnu yr holl bobl oddiwrtho; ond y rhoddai ddeg llwyth i'w was ef, ac y gadawai ddau lwyth yn unig tan lywodraethiad ŵyr i Dafydd er ei fwyn ef, o herwydd caru o hono ef Dduw; ac er mwyn dinas Jerusalem, lle y mynnai efe fod y deml.

Pan glybu Solomon hyn, efe a drallodwyd ac a derfysgwyd yn ddirfawr, ar y cyfnewidiad hwn agos o'i holl happusrwydd a barasai i bawb ei ryfeddu, i gyflwr mor ddrwg ac annedwydd. Ac nid aeth amser lawer heibio ar ol i'r prophwyd ragfynegi yr hyn a ddeuai, cyn i Dduw gyfodi gelyn yn ei erbyn, enw 'r hwn oedd Hadad; yr hwn a gymmerodd yr achlysur canlynol i ddangos ei elyniaeth tu ag atto ef. Efe ydoedd blentyn o dylwyth yr Edomiaid, ac o'r gwaed brenhinol. A phan ddarfu i Joab, blaenor byddinoedd Dafydd, osod gwlad Edom yn anghyfannedd, a difetha yr holl ddynion a dyfasant i fynu, ac yn alluog i ddwyn arfau, am chwe mis; yr Hadad yma a ffoisai ymaith, ac a ddaethai at Pharaoh, brenin yr Aipht; yr hwn a'i derbyniodd yn garedig, ac a drefnodd iddo dŷ i fyw ynddo, a thir i'w gynnal ag ymborth. A phan dyfodd i fynu efe a'i hoffodd yn fawr, yn gymmaint a rhoddi o hono iddo chwaer ei wraig, enw yr hon oedd Tahpenes, yn wraig iddo ef, o'r hon y cafodd fab, yr hwn a ddygwyd i fynu gyd â phlant y brenin. Pan glybu Hadad yn yr Aipht, fod Dafydd a Joab wedi marw, efe a ddaeth at Pharaoh, ac a ddeisyfodd ganiattau o hono iddo fyned i'w wlad ei hun. Y brenin a ofynnodd pa beth ydoedd yr hyn oedd yn niffyg arno, a pha galedi a gyfarfuasai ag ef, pan ydoedd mor chwannog i ymadael? a phan ydoedd yn ei fynych flino ef, ac yn deisyf cael ei anfon ymaith, ni chaniattaodd ei ddymuniad y pryd hwnnw. Ond ar yr amser y tyfodd amgylchiad Solomon yn waeth, † ar gyfrif ei droseddiadau rhag-grybwylledig, a digter Duw yn cyfodi i'w erbyn am yr unrhyw; Hadad, trwy gydsyniad Pharaoh, a ddaeth i Edom; a phan

* Y mae Josephus yma yn sicr yn rhy lym yn achos Solomon, yr hwn wrth wneuthur y cerubiaid, a'r deuddeg ychain pres, a ymddengys heb fod yn gwneud ychwaneg na dilyn y pattrwm a adawsid iddo gan Dafydd, yr hwn a'u derbyniasai oll trwy ysprydoliaeth. Gwel fy Nesgrifiad o'r Temlau, Pen. X. Ac er na roesai Duw unrhyw gyfarwyddyd ymherthynas i'r llewod oedd yn addurno 'r orsedd, etto nid yw Solomon yn dangos ei fod wedi torri un o gyfreithiau Moses wrth eu gwneuthur. Canys er darfod i'r Phariseaid a Rabbiniaid diweddarach wneud estyniad ar yr ail orchymmyn, i wahardd gwneuthuriad unrhyw ddelw, er heb ddim bwriad i wneud addoliad iddi; etto nid wyf yn meddwl ddarfod i Solomon ei ddeall felly, ac na ddylid ei gymmeryd yn yr ystyr hynny. I wneuthur un allor arall i addoli, ond yr un hynny yn y tabernacl, ydoedd o gydradd waharddiad gan Moses: Hynaf. IV. 8. etto ni throseddodd y ddau lwyth a hanner, wrth wneuthur allor o goffadwriaeth yn unig: Jos. xxii. Hynaf. V. 1.

† Wedi dechreuad buchedd annuwiol a thrallodau Solomon, ydoedd yr amser pan ddarfu i Hadad, (yr hwn a anesid, o'r hyn lleiaf, ugain neu ddeg ar hugain mlynedd cyn i Solomon ddyfod i'r frenhiniaeth, yn nyddiau Dafydd,) ddechreu peri aflonyddwch iddo; hyn a arwydda ddarfod i fywyd annuwiol Solomon ddechreu yn dra boreuol, a pharhau tros hir amser; yr hyn ydoedd lliosogrwydd ei wragedd a'i ordderchadon yn ei arwyddoccau, pan nad ydoedd, fel y tebygaf, yn ddeg a deugain o oedran.

nad allodd wneuthur i'r bobl ymwrthod â Solomon, (canys hwy a gedwid tano trwy lawer o amddiffynfeydd a gwersylloedd, a gwrthwynebiad ni ellid ei wneud gyd â diogelwch;) efe a symmudodd ymaith ac a ddaeth i Syria. Yno y cyfarfu â Rezon,* yr hwn a ddiangasai ymaith oddiwrth Hadadezer, brenin Soba, ei feistr, ac a ddaethai yn yspeiliwr y wlad honno; ac efe a ymunodd mewn cymdeithasrwydd ag ef, yr hwn oedd ganddo eisoes lu o yspeilwyr o'i amgylch. Felly efe a aeth i fynu ac a oresgynnodd y rhan hynny o Syria, ar ba le y gwnaethpwyd ef yn frenin. Efe hefyd a wnaeth ruthriadau i wlad Israel, ac a wnaeth ynddi nid ychydig oddrygau, ac a'i hyspeiliodd hi, a hynny yn amser bywyd Solomon. A'r cyfryw ydoedd y blinderau a gafodd yr Hebreaid oddiwrth Hadad.

Yr ydoedd hefyd un o genedl Solomon ei hun ag a gyfododd i'w erbyn, Jeroboam, fab Nebat; yr hwn oedd yn disgwyl dyrchafiad oddiwrth brophwydoliaeth a wnaethid am dano er's hir amser. Efe a adawsid yn blentyn gan ei dad, ac a ddygwyd i fynu gan ei fam: a phan welodd Solomon ei fod o dymmer hŷ a bywiog, efe a'i gwnaeth yn olygwr ar y muriau a godasai o amgylch Jerusalem. Ac efe a gymmerth y fath ofal tros y gweithiau hyn, fel y cymmeradwywyd ei ymddygiad gan y brenin, ac a roddodd iddo, megis gwobr am yr unrhyw, y gofal tros lwyth Joseph. A phan ynghylch yr amser hwnnw yr oedd Jeroboam unwaith yn myned allan o Jerusalem, prophwyd o ddinas Shiloh, enw 'r hwn oedd Abijah, a gyfarfu ag ef, ac a'i cyfarchodd: ac wedi ei gymmeryd ychydig o'r neilldu i le nad ydoedd neb yn bresennol ynddo, efe a rwygodd y wisg oedd am dano yn ddeuddeg rhan, gan erchi i Jeroboam gymmeryd deg o honynt; gan ddywedyd, "Hyn yw ewyllys Duw: efe a ran arglwyddiaeth Solomon, gan roddi un llwyth, gyd â'r hwn sydd nesaf atto, i'w fab; o herwydd yr addewid a wnaethpwyd i Ddafydd o'i ddilyniad yn y llywodraeth; ac efe a rydd ddeg llwyth i ti; o herwydd i Solomon bechu yn ei erbyn, a rhoddi ei hunan i fynu i gyfeillach gwragedd, ac i addoliad eu duwiau. Yn gwybod gan hynny dy fod yn deall yr achos am ba un y newidiodd Duw ei feddwl, ac y dieithrodd i Solomon, bydded i ti fod yn gyfiawn, a chadw y cyfreithiau; o herwydd fod yn cael ei wneuthur i ti y mwyaf o bob gwobrau am dy ffyddlondeb, a'r anrhydedd a ddangosi i Dduw; sef yw hynny, cael dy dderchafu gymmaint ag y gwyddost gael o Ddafydd."

Felly Jeroboam a lonychwyd wrth glywed y geiriau hyn gan y prophwyd; a chan ei fod yn ddyn ieuangc,† o dymmer danbaid, ac yn awyddus i dderchafiad, nis medrai fod yn llonydd. A chan fod ganddo gymmaint o ofal yn y llywodraeth; a thrwy alw i gof yr hyn a ddywedid iddo gan Abijah, efe a ymdrechodd i annog y bobl i adaw Solomon, i gyfodi terfysg, a throsglwyddo y llywodraeth iddo ef. Ond pan ddeallodd Solomon ei fwriad a'i fradwriaeth, efe a geisiodd ei ddal a'i ladd ef. Ond Jeroboam a wnaed yn hyspys o hynny ym mlaenllaw; ac a ffodd at Shisac, brenin yr Aipht; ac a arhosodd yno hyd farwolaeth Solomon; trwy ba foddion efe a ynnillodd y ddwy fantais yma; sef, bod heb dderbyn dim niweid gan Solomon, a chael ei gadw i deyrnasu. Felly Solomon a fu farw, ac efe eisces yn oedrannus iawn, wedi teyrnasu‡ pedwar ugain § o flynyddoedd, a byw pedwar ugain a phedair ar ddeg. Efe a gladdwyd yn Jerusalem; ac a ragorodd ar bob brenhinoedd eraill mewn dedwyddyd, cyfoeth, a doethineb; oddieithr iddo, wedi tyfu mewn blynyddau, gael ei hudo gan liaws gwragedd, a throseddu 'r gyfraith; ymberthynas i ba ryw droseddiadau, a'r trueni a oddiweddodd yr Hebreaid trwy hynny,

*1 Bren. xi. 28.

†Ieuengctyd Jeroboam, pan oedd Solomon yn adeiladu muriau Jerusalem, yr hyn nid oedd hir amser ar ol ei ugain mlynedd o adeiladaeth y deml, a'i dŷ ei hun, neu yn fuan ar ol ei bedwaredd ar hugain mlwydd o'i deyrnasiad, 1 Bren. ix. 24. 2 Cron. viii. 11. a'i ieuengctyd yn cael ei grybwyll yma etto, pan oedd drygioni Solomon wedi dyfod yn anioddefol, sy 'n hollol gadarnhau fy sulw rhagflaenol, fod ei fuchedd annuwiol wedi dechreu yn dra boreu, a pharhau o hono ynddi tros hir amser. Gwel Ecclus. xlvii. 14. Pe buasai gennym y traethawd chwanegol uchod o eiddo Josephus, ym mha un y bwriadasai ymhelaethu ar y rhan hwn o fywyd Solomon, (pa ran ni chyffyrddir ond yn fyrr â hi yn ein copiau eraill, 1 Bren. xi. ac a adewir allan yn hollawl yn llyfrau y Cronicl) buasem o bossibl yn cael hyspysrwydd mwy cyflawn ar yr aches yma.

‡O'r Fl. 1056 hyd 976. C. C.

§Bod Josephus yn uniawn gyfrif pedwar ugain mlynedd i deyrnasiad Solomon: Gwel Draethawd ar yr Hen Dest. t. d. 31, 32.

yr wyf yn tybied yn gymmwys bryd arall i draethu am dano. *

## PENNOD VIII.

*Am ymddygiad Rehoboam yn ol marwolaeth ei Dad; ac ymroddiad Deg llwyth tan awdurdod Jeroboam.*

Yn awr † wedi marw Solomon, ac i'w fab Rehoboam (yr hwn a anesid o wraig o Ammonees, enw yr hon oedd Naamah,) ei ddilyn yn y llywodraeth; rheolwyr y lliaws a anfonasant yn union-gyrch i'r Aipht i alw yn ol Jeroboam. Ond pan ddaeth ef i ddinas Shechem, Rehoboam a ddaeth yno hefyd; canys efe a ymroddodd i gyhoeddi ei hun yn frenin yr Israeliaid, tra 'r oeddynt wedi ymgynnull ynghyd yno. Felly llywodraethwyr y bobl, yn gystal a Jeroboam, a ddaethant atto, gan ddywedyd, y dylai esmwythâu arnynt, a bod yn dynerach na'i dad ymherthynas i'r gwasanaeth caled a osodasai arnynt, o herwydd dwyn o honyntiau drom tano ef; ‡ ac yna y buasent yn fwy caredig tu ag atto, ac yn boddloni i'w wasanaethu tan lywodraeth gymmhedrol; ac yn gwneuthur hynny yn fwy o ran cariad nac ofn. Ond Rehoboam a ddywedodd wrthynt am ddyfod atto drachefn ym mhen y tridiau, y pryd y rhoddai attebiad iddynt. Yr oediad yma a fu 'n achlysur o amheuaeth presennol, gan na roddodd attebiad caredig iddynt yn ddiattreg. Pa fodd bynnag meddyliasant fod ei ymgynghoriad yn ei gylch yn rhoddi iddynt le i obeithio am ryw radd o lwyddiant.

Rehoboam yn awr a alwodd am gyfeillion ei dad, ac a ymgynghorodd â hwynt pa ryw fath attebiad a roddai i'r lliaws. Ar hyn rhoddasant iddo y cyngor a weddai i gyfeillion, a'r rhai ag a adwaenent dymmer y bobl: hwy a'i cyngorasant i lefaru mewn fordd fwy poblogaidd nag oedd yn cydfyned â mawredd brenin; o herwydd y rhwymai hwynt y modd hwnnw i ymostwng iddo o ewyllys da: am fod yn ddymunol gan ddeiliaid gael eu brenin agos yn gydradd â hwy eu hunain. Ond Rehoboam a wrthododd y cyngor da a synhwyrol yma; (yr ydoedd yn gyfryw o leiaf yr amser hwnnw, pan oedd efe i gael ei wneud yn frenin:) Duw ei hun, fel y tybygaf, a barodd i'r hyn oedd fwyaf manteisiol iddo gael ei ddirmygu ganddo. Felly efe a alwodd am y gwŷr ieuaingc a gyd-ddygasid i fynu âg ef, ac a ddywedodd pa gyngor a roddasai yr henuriaid iddo; gan erchi iddynt hwythau ddywedyd yr hyn a feddylient a ddylai wneuthur. Felly hwy a'i cyngorasant i roddi 'r attebiad canlynol i'r bobl; (canys ni adawodd eu hieuengctyd, na Duw ei hun, iddynt ddeall yr hyn oedd oreu,) Y byddai ei fys bach ef yn freisgach na lwynau ei dad; ac os cawsent driniaeth galed gan ei dad, y caent brofi triniaeth arwach oddiwrtho ef; ac os ei dad a'u ceryddodd â ffrewyllau, y gallent ddisgwyl eu cospi ganddo ef â scorpionau. § Y brenin a foddhäwyd â'r cyngor hwn, ac a'i barnodd yn gyttunol â mawrhydi ei frenhiniaeth i roddi iddynt y cyfryw attebiad. Yn ganlynol, wedi i'r lliaws ymgynnull ynghyd i glywed ei attebiad, ar y trydydd dydd, yr holl bobl oeddynt mewn disgwyliad mawr, ac yn dra dyfal i wrando 'r hyn a ddywedai 'r brenin wrthynt; ac yn meddwl y caent glywed rhyw beth o natur garedigol tu ag attynt: ond efe a adawodd gyngor ei ewyllyswyr da o'r neilldu, ac a'u hattebodd y modd y cyfarwyddwyd ef gan y gwŷr ieuaingc.‖ Yn awr hyn a wnaed yn gyfattebol i ewyllys Duw; fel y byddai i'r hyn a ragddywedasai Ahijah ddyfod o amgylch.

Wrth y geiriau hyn y bobl a darawyd â syndod, megis â gordd o haiarn; ac oeddynt tan y fath ofid a phe buasent eisoes yn teimlo yr effaith o hono; a hwy a ddigiasant yn fawr wrth y brenin: a phawb a lefasant allan gan ddywedyd, "Ni fydd i ni yn hwy berthynas â Dafydd na'i hiliogaeth, ¶ ar ol y dydd hwn, ac ni adawn ond y deml yn unig i Rehoboam yr hon a gyfododd ei dad." Ië, yr oeddynt wedi chwerwi

---

* Y traethawd hwn sy'n awr yn eisiau. † Bl. 976.

‡ Ysgatfydd yn cynnal ei lys, ac yn enwedig ei nifer liosog o wragedd a gordderch-wragedd.

§ Mai wrth scorpionau ni feddylir yma y creaduriaid bychain a elwir felly, y rhai ni arferwyd erioed wrth geryddu; ond rhyw brysgoed blaenllym, fel colyn ysgorpion, y fath ag yw twmpath eithin; neu ynte ryw fath o ffangell ofnadwy o'r un naturiaeth: Gwel nodau Hudson a Spanheim yma: a chyfattebol sylwiadau gan Mr. Barker.

‖ 1 Bren. xii. 13. ¶ 1 Bren. xii. 16.

gymmaint, fel pan ddanfonodd efe Adoram, yr hwn oedd ar y dreth, i'w llonyddu hwynt, ac i ddeisyf arnynt faddeu iddo, os dywedodd ddim yn fyrbwyll ac a barodd ofid iddynt yn ei ieuengctyd. Ond ni wrandawent hwy arno, ond a daflasant gerrig atto, ac a'i lladdasant. Pan welodd Rehoboam hyn, efe a ddychymmygodd ei hun yn cael cyfeirio atto â'r cerrig hyn, â pha rai y lladdasid ei was ef gan y llïaws; ac a ofnodd rhag iddo yntau o ddifrif fyned tan yr un gospedigaeth. Felly efe yn ebrwydd a gymmerodd ei gerbyd, ac a ffodd i Jerusalem. Yno llwyth Judah, a'r un hynny o Benjamin, a'i hordeiniasant ef iddynt yn frenin: ond y rhan arall o'r llïaws a adawsant feibion Dafydd, o'r dydd hwnnw allan; ac a appwyntiasant Jeroboam yn llywodraethwr ar eu hachosion cyffredin. Ar hyn Rehoboam a gasglodd ynghyd gynnulleidfa lïosog o'r ddau lwyth hynny a ymostyngasant iddo ef, ac ydoedd barod i gymmeryd cant a phedwar ugain mil o wŷr dewisol o'i fyddin, ac i wneud ymgyrch yn erbyn Jeroboam a'i bobl; fel y gwnelai trwy ryfela â hwynt iddynt fod yn weision iddo. Ond efe a waharddwyd gan Dduw trwy y prophwyd Shemaiah i fyned i ryfel; am nad oedd gyfiawn i frodyr o'r un wlad ryfela y naill â'r llall. Dywedodd hefyd fod yr enciliad hwn ym mhlith y llïaws o drefniad Duw. Felly nid aeth efe ym mlaen yn yr ymgyrch hwn.* Ac yn awr mi adroddaf yn gyntaf am weithredoedd Jeroboam, brenin Israel; ac yn ol hynny yr hyn a berthyn iddynt o weithredoedd Rehoboam, brenin y ddau lwyth. Trwy 'r moddion hyn ni gadwn drefn yr hanes yn rheolaidd ac yn ddigymmysg.

Wedi i Jeroboam adeiladu iddo ei hun balas yn ninas Shechem, efe a arhosodd yno. Efe hefyd a adeiladodd iddo un arall mewn dinas a elwid Penuel. Ac yn awr gwyl y pebyll ydoedd yn neshau ym mhen ychydig amser. Jeroboam a ystyriodd, os goddefai i'r llïaws fyned i addoli Duw yn Jerusalem; a chadw yr wyl yno, ysgatfydd yr edifarhaent am yr hyn a wnaethent; ac y denid hwy gan y deml, a chan addoliad Duw a gyflawnid yno; ac yn ganlynol y gadawent ef, i ddychwelyd at eu brenin cyntaf; ac os felly, y byddai ei fywyd ef mewn perygl. Felly efe a wnaeth ddwy anner aur; ac a adeiladodd ddwy deml fechan iddynt, un yn ninas Bethel, a'r llall yn Dan:† y ddiweddaf o'r rhai ydoedd wrth ffynhonnau‡ yr Iorddonen leiaf; ac efe a ddododd yr annerau ym mhob un o'r temlau bychain yn y dinasoedd rhag-grybwylledig. Ac wedi iddo alw y deg llwyth ynghyd, tros ba rai yr oedd yn llywodraethu, efe a ymadroddodd wrth y bobl yn y geiriau a ganlyn:—"Yr wyf yn meddwl, fy nghydwladwyr, y gwyddoch fod pob lle â Duw ynddo; ac nid yw efe mewn un lle penderfynol; ond ei fod ef ym mhob man yn gwrando ac yn gweled y rhai sydd yn ei addoli ef. Ar ba gyfrif nid wyf yn ei weled yn gymmwys i chwi i fyned i daith mor bell a Jerusalem, yr hon sydd ddinas ein gelyn, i'w addoli ef. Dyn oedd yr hwn a adeiladodd y deml; myfi hefyd a wnaethym ddwy anner aur, wedi eu cyflwyno i'r un Duw: un a gyssegrais yn ninas Bethel, a'r llall yn Dan; i'r diben i'r sawl o honoch ag sydd yn preswylio nesaf i'r dinasoedd hyn fyned iddynt hwy ac addoli Duw yno. Ac mi a ordeiniaf i chwi offeiriaid a Lefiaid o'ch plith eich hunain, fel na b'o arnoch ddiffyg llwyth Lefi, na meibion Aaron. Ond bydded i'r neb a ewyllysio yn eich mysg fod yn offeiriad, ddwyn i Dduw ŷch a hwrdd; yr hyn a ddywedant§ i Aaron yr offeiriad cyntaf ddwyn gyd ag ef hefyd." Wedi i Jeroboam lefaru y modd yma, efe a hudodd y bobl, ac a barodd iddynt wrthgilio oddiwrth addoliad eu tadau, a throseddu eu cyfreithiau. Hyn a fu ddechreuad trueni yr Hebreaid, a'r achos o'u gorchfygu mewn rhyfel gan genhedloedd dieithr, a'u dwyn i gaethiwed. Ond nyni a adroddwn

* 1 Bren. xii. 24. † 1 Bren. xii. 29.

‡ Pa un a ydoedd y ffynhonnau hyn o'r Iorddonen leiaf yn agos i le a elwid Dan, a ffynhonnau y fwyaf yn agos i le a elwid Jor, cyn eu cyd gyssylltiad; neu pa un a ydoedd ond un ffynnon yn cyfodi o'r llynn Phiala; yn gyntaf yn suddo i'r ddaear, ac yna yn cyfodi yn agos i fynydd Paneum, ac oddi yno yn rhedeg trwy lynn Semochonitis i fôr Galilea, ac a elwid cyn belled a hynny yr Iorddonen leiaf, sydd anhawdd ei sicrhau oddiwrth Josephus ei hun; er fod yr hanes diweddaf yn fwyaf tebygol. Gwel Reland, Rh. I. Ll. I. t. d. 41, 43. Pa fodd bynnag y llo aur gogleddol eilun-addolgar, a osodwyd i fynu gan Jeroboam, ydoedd yn y fan ag yr oedd yr Iorddonen leiaf yn arlloes i'r fwyaf; wrth le a elwid Daphna, fel y mae Josephus mewn lle arall yn hyspysu i ni, Hanes y Rhyf. IV. 1. Gwel y nod yno.

§ Lef. viii. 14, 22.

am y pethau hyn yn eu priodol leoedd rhagllaw.

Pan oedd gwyl y pebyll yn awr * yn agoshau, Jeroboam ydoedd yn ewyllysio ei chadw yn Bethel, megis ag yr oedd y ddau lwyth yn Jerusalem. Yn ganlynol efe a adeiladodd allor o flaen yr anner aur, ac a gymmerodd arno yr archoffeiriadaeth ei hunan. Felly efe a aeth i fynu at yr allor, a'i offeiriaid ei hun o'i amgylch. Ond pan oedd yn myned i offrymmu'r aberthau a'r poeth-offrymmau, yngolwg yr holl bobl, prophwyd a'i enw Jadon, a anfonasid gan Dduw, ac a ddaethai atto o Jerusalem; yr hwn a safodd ynghanol y lliaws, ac yng nghlyw y brenin, a chan gyfeirio ei ymadrodd at yr allor, efe a ddywedodd:—"Duw sydd yn rhagfynegi y bydd i ryw un o deulu Dafydd, Josiah wrth ei enw, ladd arnat ti y gau offeiriaid a fyddo byw yr amser hwnnw, ac a lysg arnat esgyrn y rhai a fyddant yn dwyllwyr y bobl, ac yn eu hudo â'u gweniaith a'u drygioni. Pa fodd bynnag, fel y credo 'r bobl yma y bydd i hyn ddyfod i ben, yr wyf yn dangos arwydd iddynt, a gyflawnir hefyd. Yr allor hon a ddryllir yn ddiced; a holl frasder yr aberthau sydd arni a dywelltir i'r llawr." Pan ddarfu i'r prophwyd lefaru hyn, Jeroboam mewn gwylltineb a estynodd allan ei law, ac a barodd i'r bobl ymaflyd ynddo. Ond y llaw a estynodd y modd hwn allan, a ddiffrwythwyd, ac ni allai ei thynnu yn ol; canys yr ydoedd wedi gwywo, ac yn crogi i lawr megis yn farw. Yr allor hefyd a rwygwyd yn ddarnau, a'r hyn oll oedd arni a dywalltwyd allan; megis y rhagfynegasai y prophwyd. Felly y brenin a ddeallodd mai dyn a gwirionedd ynddo ydoedd, a bod ganddo ragwybodaeth ddwyfol; ac efe a ddeisyfodd arno weddio ar Dduw ar iddo adferyd iddo ei ddeheulaw. Yn ganlynol y prophwyd a weddiodd ar Dduw am ganiattau o hono y ffafr honno iddo. Felly y brenin wedi adferyd iddo ei law i'w chyflwr naturiol, a fu dda ganddo, ac a wahoddodd y prophwyd i swppera gyd ag ef. Ond Jadon a ddywedodd na feiddiai ddyfod i'w dŷ ef, na phrofi bara na dwfr yn y ddinas honno. Canys hynny ydoedd beth a waharddasai Duw iddo ei wneuthur; ac hefyd i ddychwelyd yn ol ar hyd yr un ffordd ag y daethai; ond ei fod i fyned ar hyd ffordd arall. Felly y brenin a ryfeddodd wrth ddirwest, neu ymarbediad y dyn oddiwrth fwydydd, ond a ydoedd ei hunan mewn ofn; megis yn drwgdybio am gyfnewidiad ar ei achosion er gwaeth, oddiwrth yr hyn a ddywedasid iddo.

## PENNOD IX.

*Am ddychweliad Jadon i Bethel wrth gymhelliad gau brophwyd, a'i ddiweddiad alaethus; effaith ymresymiadau y prophwyd celwyddog ar feddyliau Jeroboam, &c.*

YN awr yr ydoedd rhyw ddyn drygionus yn y ddinas honno, yr hwn oedd gau brophwyd, ac yn cael ei fawr barchu gan Jeroboam; ond efe a dwyllid ganddo ef â'i eiriau gwenieithus. Y gwr hwn oedd fynychaf yn cadw ei wely oblegid gwendidau ei henaint. Pa fodd bynnag efe a wnaethpwyd yn hyspys gan ei fab o'r prophwyd a ddaethai o Jerusalem, ac ymherthynas i'r arwyddion a wnaethid ganddo ef; a'r modd wedi diffrwytho llaw Jeroboam, wrth weddi 'r prophwyd, yr adferwyd hi iddo drachefn. Ar y cyfrif hwn efe a ofnodd rhag i'r prophwyd a'r dieithr-ddyn hwn fod mewn mwy cyfrif gyd â'r brenin nac efe ei hun, a chael mwy anrhydedd ganddo: ac efe a orchymmynodd i'w feibion gyfrwyo ei asyn iddo yn union-gyrch, a gwneud parodrwydd iddo i fyned ymaith. Yn ganlynol hwy a wnaethant frys i gyflawni 'r hyn a orohymmynasid; ac efe a aeth ar gefn yr asyn, ac a ddilynodd ar ol y prophwyd. Ac wedi iddo ei oddiweddyd, fel yr oedd yn gorphwyso ei hun tan dderwen gysgodfawr, efe yn gyntaf a'i cyfarchodd ef, ond wedi hynny a achwynodd arno am na ddaethai i'w dŷ ef i gyfrannogi o'i haelioni. A phan ddywedodd y llall i Dduw ei wahardd ef i gymmeryd lluniaeth gan neb yn y ddinas honno; efe a attebodd, "Diau na waharddodd Duw im' osod ymborth o'th flaen, canys myfi ydwyf brophwyd megis tithau, ac wyf yn addoli Duw yn yn yr un modd a thithau; ac yr wyf yn awr yn dyfod, wedi fy anfon ganddo ef, mewn trefn i'th ddwyn



THE DISOBEDIENT PROPHET.

Published by J. & J. Cundee, Albion Press, London 1812.

di i fy nhŷ, a'th wneud yn un o'm gwahoddedigion. Yna Jadon a roddodd gred i'r prophwyd celwyddog hwn, ac a ddychwelodd yn ol gyd ag ef. Ond pan oeddynt ar giniaw, ac yn cydlawenychu, amlygodd Duw ei hun i Jadon, ac a ddywedodd y byddai iddo ddioddef cospedigaeth am droseddu ei orchymmynion ef: ac efe a ddywedodd iddo pa gospedigaeth a fyddai honno; mai ar ei ddychweliad adref y cyfarfyddai â llew, yr hwn a'i rhwygai ef yn ddrylliau; ac yr ymddifadid ef o gladdedigaeth ym meddrod ei dadau." Yr hyn bethau a ddaethant i ben, fel y tybygaf, yn ol ewyllys Duw: fel na byddai i Jeroboam wneud sulw o eiriau Jadon, megis o un a gyhuddasid o gelwydd. Pa fodd bynnag, fel ag yr oedd Jadon yn myned drachefn i Jerusalem, llew a'i goddiweddodd ef, ac a'i tynnodd oddi ar yr anifail y marchogai arno, ac a'i lladdodd ef; etto ni wnaeth ddim niweid i'r asyn, ond a eisteddodd yn ei ymyl, gan ei wylied ef, yn gystal a chorph y prophwyd. Hyn a barhaodd hyd oni ddaeth rhyw deithwyr a'i weled, a'i fynegi yn y ddinas i'r gau brophwyd; yr hwn a ddanfonodd ei feibion, ac a ddygasant y corph i'r ddinas, ac a wnaethant angladd iddo gyd â chostau mawrion. Efe hefyd a orchymmynodd i'w feibion ei gladdu ef yn yr un beddrod, gan ddywedyd "y byddai yr hyn oll a lefarasai efe yn erbyn y ddinas honno, yr allor, a'r offeiriaid, a'r gau brophwydi, brofi yn wirionedd;* ac os cleddid efe gyd ag ef, na chai driniaeth niweidiol i'w gorph yn ol ei farwolaeth, gan na ellid gwahaniaethu yr esgyrn oddiwrth eu gilydd." Ond pan gyflawnodd efe y defodau angladdawl hyn i'r prophwyd, a rhoddi y gorchymmyn hwnnw i'w feibion, fel ag yr ydoedd efe yn ddyn annuwiol a drygionus, efe a aeth at Jeroboam, ac a lefarodd wrtho:—"Paham yn awr y'th dra-llodir wrth eiriau y dyn gwirionllyd hwn?" A phan adroddodd y brenin yr hyn a ddigwyddasai ynghylch yr allor, ac ymherthynas i'w law ei hun; a rhoddi iddo enwau dyn dwyfol, a phrophwyd rhagorol; efe a ymdrechodd trwy ddichell ddrygionus i wanhau ei dŷb da am y gwir brophwyd; a chan arferyd rhith-eiriau ymadroddus ymherthynas i'r hyn a ddigwyddasai, efe a gyfeiriodd at wrthsefyll y gwirionedd o honynt; ac a geisiodd berswadio 'r brenin, ddarfod i'w law gael ei diffrwytho trwy'r llafur y buasai ynddo, wrth gynnal i fynu yr aberthau; ac mai wedi gorphwys ychydig, ddychwelyd o honi i'w chyflwr blaenorol drachefn. Ac ymherthynas i'r allor, nid oedd ond newydd, ac arni bwysau mawr o aberthau, a'r rhai hynny o faintioli nid bychan hefyd; ac yn ganlynol yr allor a syrthiodd, ac a wahanodd yn ddarnau, trwy bwysau yr hyn a osodasid arni. Efe hefyd a'i hyspysodd o farwolaeth yr hwn a ragfynegasai am y pethau hyn, a'r modd y difethwyd ef: oblegid hynny efe a benderfynodd, na feddiannodd ddim a berthynai i brophwyd, ac na lefarodd yn debyg iddynt. Wedi iddo ddywedyd fel hyn, efe a berswadiodd y brenin, ac a ddieithrodd ei feddwl yn gwbl oddiwrth Dduw, ac oddiwrth bob gweithred o gyfiawnder a sancteiddrwydd, gan ei annog i fyned ym mlaen yn ei ymarferiadau annuwiol.† Ac yn ganlynol yr oedd efe yn y fath radd o elyniaeth tu ag at Dduw, ac yn gymmaint troseddwr, nad oedd efe yn ymgais â dim arall yn feunyddiol, ond pa fodd y byddai 'n euog o ryw siamplau newyddion o ddrygioni; a'r fath ag a fyddai yn fwy ffiaidd na'r hyn a wnaethai o'r blaen. A chymmaint a hyn a gaiff wasanaethu yn bresennol i'w adrodd ymherthynas i Jeroboam.

## PENNOD X.

*Am annuwioldeb Rehoboam, a'i gospedigaeth gan Shisac brenin yr Aipht.*

* 1 Bren. xiii. 32.

† Pa fath gopi helaethach a gwell oedd gan Josephus yn yr hanes neillduol yma am y gwir brophwyd o Judea, a'i arwyddion i Jeroboam, ynghyd â'i hudoliad gan y gau brophwyd o Bethel, na'n copiau eraill ni, sy'n dra eglur ar yr olwg gyntaf. Gwir enw y prophwyd, Jadon, neu, fel y geilw y Gosod. Efang. ef, Adonias; IV. 6, sydd yn eisiau yn ein copiau eraill: ac fe ddywedir yno, nid ag ychydig o anghymmwysdra, ddarfod i Dduw amlygu marwolaeth y gwir brophwyd, nid iddo ei hun, megis yma, ond i'r gau brophwyd. Am yr hyn gwel y Traethawd ar yr Hen Dest. t. d. 74, 75. Pa un ai bod yr hanes am y rhesymmau a arferwyd gan y gau brophwyd yn erbyn ei grediniaeth ei hun, mewn trefn i berswadio Jeroboam i barhau yn ei eilunaddoliaeth a'i ddrygioni, a'r hyn a ymddengys ei ennill ganddo, na pha ryw ymadroddion mwy dyfeisddrwg ni ellid eu defnyddio, a arwyddwyd yng nghopi Josephus, neu ryw lyfr heneiddiol arall, ni ellir yn awr yn sicr ei benderfynu: nid yw ein copiau eraill yn crybwyll gair am dano.

REHOBOAM, * mab Solomon, yr hwn, fel y dywedasom o'r blaen, ydoedd frenin y ddau lwyth, a adeiladodd ddinasoedd cedyrn a helaeth, Bethlehem, Etam, Tecoa, Bethsur, Shocho, Adulam,† Ipan, Maresha, Ziph, Adoraim, Lachish, Azecah, Zorah, Aijalon, a Hebron. Y rhai hyn a adeiladodd efe gyntaf oll yn nherfynau llwyth Judah. Efe hefyd a adeiladodd ddinasoedd eraill yn llwyth Benjamin, ac a'u muriodd o amgylch; gan osod gwersylloedd a chadbeniaid ynddynt oll; a llawer o ŷd, gwin, ac olew: ac efe a lanwodd bob rhai o honynt â'r fath luniaeth ag oedd angenrheidiol at gynnaliaeth. Ymhellach efe a ddododd dariannau a gwaywffyn yno i amryw filoedd o ddynion. Yr offeiriaid hefyd ag oedd yn holl Israel, a'r Lefiaid; a chynnifer o'r lliaws ag ydoedd yn ddynion da a chyfiawn, a ymgasglasant ynghyd atto ef, wedi gadael eu dinasoedd eu hunain, fel y caent addoli Duw yn Jerusalem. Canys nid oeddynt ewyllysgar i gymmeryd eu cymmell i addoli lloi neu annerau aur a wnaethai Jeroboam; a hwy a gynnyrchasant deyrnas Rehoboam am dair blynedd. Ac wedi iddo briodi dynes o'i genedl ei hun, a chael o honi dri phlentyn; efe hefyd a briododd un arall o'i gareunydd, yr hon oedd ferch Absalom o Tamar, enw yr hon oedd Maacha; ac o honi hi y cafodd fab, yr hwn a enwodd efe Abijah. Yr oedd iddo hefyd amryw blant o wragedd eraill; ond efe a garodd Maachah uwchlaw hwynt oll. Yn awr yr oedd ganddo ddeunaw o wragedd priodol, a deg ar hugain‡ o ordderch-wragedd; ac fe anwyd iddo wyth ar hugain o feibion, a thri ugain o ferched; ond efe a appwyntiodd Abijah, yr hwn a gafodd o Maachah, i fod yn ddilynwr iddo yn llywodraeth y deyrnas; ac a ymddiriedodd iddo y trysorau a'r dinasoedd cadarnaf.

Yn awr nis gallaf lai na meddwl fod derchafiad teyrnas, a chyfnewidiad i 'stad o lwyddiant, yn fynych yn dyfod yn achlysur o annuwioldeb a throseddau ym mhlith dynion. Canys wedi i Rehoboam weled ei deyrnas yn cynnyddu gymmaint, efe a droes o'r iawn ffordd at ymarferiadau anghrefyddol; ac a ddibrisiodd addoliad Duw, nes i'r bobl eu hunain ddilyn ei annuwiol ymddygiad. Oblegid felly y mae'n arferol o ddigwydd; i foesau y cyffredin gael eu llygru yr un pryd â'r eiddo eu llywodraethwyr; a deiliaid a adawant y ffordd o fyw'n sobr o'r neilldu, pan welont eu tywysogion yn gloddesta ac yn byw yn afradlon; ac yn canlyn eu drygioni hwy, megis pe byddai yn rhinwedd. Canys nid yw yn bossibl dangos fod dynion yn cymmeradwyo ymarferiadau eu pennaethiaid, oddigerth iddynt hwy eu hunain ddilyn yr un ymarferiadau. Yn gyttunol â hyn yn awr y digwyddodd i ddeiliaid Rehoboam; canys wedi iddo ef dyfu yn annuwiol, § ac yn droseddwr ei hun, hwy a geisiasant beidio ei dramgwyddo, trwy ymroi o honynt hwythau i fod fyth yn gyfiawn. Ond Duw a ddanfonodd Shishac, brenin yr Aipht, i'w cospi am eu hymddygiad anghyfiawn tu ag atto ef. Ymherthynas i'r hwn yr oedd Herodotus yn camsyniad, ac yn cymhwyso ei weithredoedd at Sesostris. Canys y Shishac hwn,|| yn y bummed flwyddyn o deyrnasiad Rehoboam, a wnaeth ymgyrch i Judea, gyd ag amryw filoedd o ddynion. Canys yr oedd ganddo un mil a dau cant o gerbydau, trugain mil o wŷr meirch, a phedwar can mil o wŷr traed. Y rhai hyn a ddug gyd ag ef; a'r rhan fwyaf o honynt oeddynt Libiaid ac Ethiopiaid. Yn awr gan hynny pan ymosododd ar wlad yr Hebreaid, efe a gymmerodd y dinasoedd cadarnaf yn nheyrnas Rehoboam, heb ddim ymladd; ac wedi dodi gwersylloedd ynddynt, efe a ddaeth yn ddiweddaf oll i Jerusalem. ¶

Wedi i Rehoboam, a'r lliaws gyd ag ef gael eu caead i fynu yn Jerusalem, gan fyddin Shishac; a phan ymbiliasant ar Dduw i roddi iddynt fuddugoliaeth ac ymwared, nis gallasant ei yn-

* Bl. 974. † Gath, 2 Cron. xi. 8. ‡ Trugain, 2 Cron. xi. 21.

§ Bl. 971.

|| Nad y Shishac yma ydoedd yr un gwr a'r enwog Sesostris, fel y darfu i rai yn dra ddiweddar, yngwrthwyneb i bob hynafiaeth, ddychymmygu; ac na ddarfu i'n Josephus ei gymmeryd am y cyfryw, megis y cymmerent hwy arnynt haeru hynny; ond y Sesostris hwnnw ydoedd amryw ganrhifau o flynyddoedd yn foreuach na Shishac; gwel waith yn Saesnaeg a elwir Authentic Records, Rhan II. tu dalennau 1024, 1025, 1026, a'r awdwyr a grybwyllir yno.

¶ 1 Bren. xiv. 25.

nill i gymmeryd eu plaid; ond Shemaiah y prophwyd a ddywedodd wrthynt fod Duw yn bygwth eu gadael hwynt, fel y gadawsent hwythau ei addoliad ef. Pan glywsant hyn yr oeddynt mewn mawr ddychryn; ac heb weled un ffordd o waredigaeth, hwy oll a osodasant eu hunain o ddifrif i gyffesu y gallai Duw yn gyfiawn eu hesgeuluso hwynt, gan iddynt hwy fod yn euog o anffyddlondeb tu ag atto ef, ac ammharchu ei gyfreithiau. Felly pan welodd Duw hwynt o'r dymmer honno, a'u bod yn cyfaddef eu pechodau, efe a ddywedodd wrth y prophwyd na ddifethid hwynt, ond y gwnai hwynt yn weision i'r Aiphtiaid; fel y dysgent wybod pa un leiaf a ddioddefent wrth wasanaethu dynion neu Dduw. Felly wedi i Shishac gymmeryd y ddinas heb ymladd am dani, o herwydd yr arswyd oedd ar Rehoboam, ac iddo ei dderbyn i mewn iddi, efe a yspeiliodd y deml, ac a'i gwaghaodd o drysorau Duw, a'r eiddo y brenin; gan ddwyn ymaith anneirif filoedd o aur ac arian, ac heb adael dim ar ei ol. Efe hefyd a gymmerodd ymaith y bwccledi aur, a'r tariannau a wnaethai Solomon y brenin. Ië, ni adawodd y cawellisaethau, a gymmerasai Dafydd oddiar frenin Zoba, ac a'u cyssegrasai i Dduw. Ac wedi gwneud y modd hwn, efe a ddychwelodd i'w deyrnas ei hun. Yn awr Herodotus o Halicarnassus, sydd yn crybwyll am yr ymgyrch hwn, wedi camsyniad yn unig enw'r brenin, a dywedyd wneuthur o hono ryfel â chenhedlaethau eraill hefyd, a dwyn o hono Syria Palestina tan ei lywodraeth, a chymmeryd y dynion oedd yno yn garcharorion heb ddim ymladd. Yn awr y mae 'n eglur ei fod yn amcanu cyhoeddi ein cenedl ni wedi ei darostwng iddo ef: canys efe a ddywed adael o hono o'i ol golofnau yng ngwlad y rhai a ymostyngasent iddo ef heb ymladdiad; ac argraphu arnynt arwydd o'u gwrageidd-dra a'u digalondid. Yn awr ein brenin Rehoboam a roddodd i fynu ein dinas heb ymladd. Dywed ymhellach, "I'r Ethiopiaid ddysgu y ddefod o enwaediad* oddiwrth yr Aiphtiaid; gyd â'r chwanegiad hwn, fod y Phœniciaid a'r Syriaid sy'n byw yn Palestina yn cyffesu iddynt ei ddysgu gan yr Aiphtiaid." Etto y mae 'n sicr na enwaedir ar ddim Syriaid eraill ag sy 'n byw yn Palestina heblaw nyni ein hunain. Ond ymherthynas i'r fath fatterion bydded i bawb lefaru yn ol eu tŷb eu hunain.

Wedi i Shishac fyned ymaith, y brenin Rehoboam a wnaeth fwccledi a thariannau o bres, yn lle y rhai hynny o aur;† gan roddi yr un rhifedi o honynt at geidwad tŷ 'r brenin. Felly yn lle ymgyrch rhyfelgar a chlodfawr, a'r anrhydedd hwnnw ag sy 'n dyfod oddiwrth frwydrau cyhoedd, efe a deyrnasoedd mewn mawr lonyddwch, er hynny nid heb ofn, megis yn bod bob amser mewn gelyniaeth â Jeroboam. Ac efe a fu farw wedi byw o hono ddwy flynedd ar bymtheg a deugain, a theyrnasu ddwy flynedd ar bymtheg.‡ Yr ydoedd yn ei natur yn falch, ac yn ddyn anghall; ac a gollodd ran o'i lywodraeth o ddiffyg gwrando ar gyfeillion ac ewyllyswyr da ei dad. Efe a gladdwyd yn Jerusalem, ym meddrod y brenhinoedd; a'i fab Abijah § a lywodraethodd yn y deyrnas ar ei ol ef: a hon ydoedd y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad Jeroboam ar y deg llwyth. Rhaid fod ein gwaith yn awr i adrodd am fatterion Jeroboam, a'r modd y diweddodd efe ei fywyd. Canys ni pheidiodd ac ni orphwysodd a bod yn wrthwynebwr Duw; ond beunydd a gyfododd i fynu allorau ar fynyddau uchel, gan fyned ym mlaen i wneud offeiriaid o'r lliaws.

* Herodotus, megis y crybwyllir yma gan Josephus, ac fel y mae'r ymadrodd yn sefyll etto yn ein copiau presennol, Llyfr II. pen. 104, sy'n cadarnhau fod y Phœniciaid a'r Syriaid yn Palestina, (pa rai diweddaf yn gyffredin a feddylir eu bod yn arwyddo Iuddewon) a addefasant dderbyn o honynt yr enwaediad oddiwrth yr Aiphtiaid." Pan y mae'n amlwg i'r Iuddewon dderbyn eu henwaediad oddiwrth y patriarch Abraham, Gen. xvii. 9---14. Jos. vii. 22, 23, fel yr wyf yn tebygu ddarfod i offeiriaid yr Aipht eu hunain ei dderbyn. Nid yw gan hynny yn dra thebygol ddarfod i Herodotus, oblegid i'r Iuddewon fyw yn hir yn yr Aipht, a dyfod allan o honi wedi eu henwaedu, feddwl oddiwrth hynny iddynt ddysgu yr enwaediad yn yr Aipht, ac nad oedd ganddynt o'r blaen. Manetho yr Aiphtwr, amseryddwr a hanesydd clodfawr, yr hwn a wyddai hanes ei wlad ei hun yn llawer gwell na Herodotus, sy'n mynych achwyn ar ei gamsyniadau ymherthynas i'w matterion hwy, fel y mae Josephus yn gwneuthur fwy nag unwaith yn y bennod hon. Ac yn wir nid ymddengys fod Herodotus yn hyspys oll ym matterion yr Iuddewon. Canys fel nad yw un amser yn eu henwi; felly ychydig neu ddim a ddywed efe ymherthynas iddynt, i'w gwlad, neu ddinasoedd morawl, dwy o'r rhai yn unig a grybwylla, Cadytis a Jenysis, sy'n profi yn wirioneddol. Ac yn wir nid yw yn ymddangos fod erioed y fath ddinasoedd yn eu cyffiniau. Gwel Traethawd ar yr Hen Dest. Chwanegiad, t. d. 180. Palest. Reland, Tom. II. Ll. III. t. d. 668, 669, 670. a'n Nod ar XI. 2.

† 1 Bren. xiv. 27. ‡ O'r Fl. 976 hyd 958, C. C. § Bl. 959.

## PENNOD XI.

*Am farwolaeth mab Jeroboam; gorchfygu Jeroboam gan Abijah; ei farwolaeth yn ol hynny, a distrywiad ei Dylwyth gan Baasha.*

NID hir o amser yr ydoedd Duw yn barod i ddychwelyd drygionus weithredoedd Jeroboam, a'r gospedigaeth yr oeddynt yn ei haeddu ar ei ben ei hun, ac ar bennau ei holl deulu. Ac fel yr oedd mab y brenin yn gorwedd yn glaf yr amser hwnnw, yr hwn a elwid Abijah; efe a annogodd ei wraig i roddi ei gwisgoedd brenhinol o'r neilldu, ac i ymwisgo â dillad perthynol i ddyn neillduol, a myned at Ahijah y prophwyd, oblegid ei fod yn un rhyfedd am ragfynegi pethau i ddyfod; ac o herwydd mai efe ydoedd yr hwn a ddywedasai y byddai yn frenin. Efe hefyd a orchymmynodd iddi pan ddeuai atto, i ymofyn ag ef ymherthynas i'r plentyn, megis pe byddai ddieithr, pa un a ddiangai o'i glefyd presennol ai ni wnai? Felly hi a wnaeth megis y gorchymmynodd ei gwr iddi, gan newid ei gwisgoedd, a dyfod i ddinas Shiloh; canys yno yr oedd Ahijah yn aros. Ond fel yr oedd hi yn myned i'w dŷ, a'i olwg y pryd hynny wedi pallu gan oedran, Duw a ymddangosodd iddo, ac a hyspysodd fod gwraig Jeroboam yn dyfod atto, a pha attebiad a roddai efe i'w gofyniad. Yn ganlynol, fel yr oedd y wraig yn dyfod i'r tŷ, fel dyn unigol a dieithr, efe a lefodd allan, "Tyred i mewn, O tydi wraig Jeroboam; paham yr ymguddi dy hun? Nid ydwyt yn guddiedig oddiwrth Dduw, yr hwn a ymddangosodd i mi, ac a ddywedodd wrthyf am dy ddyfodiad, ac a roddodd mewn gorchymmyn yr hyn yr ydwyf i'w fynegi i ti." Felly efe a ddywedodd ar iddi fyned ymaith at ei gwr, a llefaru wrtho y modd hwn: "Wedi im' dy wneuthur yn ŵr enwog pan oeddyt fychan, neu yn hytrach ddim, gan rwygo 'r deyrnas oddiwrth dŷ Dafydd, a'i rhoddi i ti: a thithau a fuost yn anystyriol o'r manteision hyn; ac a adawaist heibio fy addoliad, gan wneud it' dy hun dduwiau toddedig, a'u hanrhydeddu hwynt. Myfi yn yr un modd a'th fwriaf i lawr drachefn, ac a ddifethaf dy holl dŷ, ac a'i rhoddaf yn ymborth i gŵn, ac i ehediaid. Canys brenin arall sydd yn cyfodi wrth fy ngorchymmyn i ar yr holl bobl hyn, yr hwn ni âd i aros yn fyw neb o deulu Jeroboam. Y lliaws hefyd eu hunain a gyfrannogant o'r un gospedigaeth, ac a fwrir allan o'r wlad dda hon, ac a wasgarir i'r lleoedd tu hwnt i Euphrates; o herwydd iddynt ddilyn arferion drygionus eu brenin, ac addoli y duwiau a wnaeth efe, gan adael o'r neilldu fy aberthau. Bydded i ti, O wraig! brysura yn ol at dy ŵr, i ddwyn iddo y gennadwri hon. Ond erbyn hynny ti a gei fod dy fab yn marw; canys a thydi yn myned i mewn i'r ddinas, efe a ymedy â'r bywyd hwn: etto efe a gleddir â galar am dano gan yr holl bobl, ac a berchir ag wylofain mawr, canys efe yw 'r unig un diniweid o deulu Jeroboam."*

Wedi i'r prophwyd ragfynegi y digwyddiadau hyn, y wraig a aeth ymaith ar frys, gyd â meddwl cythryblus, ac yn mawr ofidio o herwydd marwolaeth y plentyn. Felly 'r ydoedd yn wylofain ar hyd y ffordd, ac yn galaru wrth farwolaeth ei mab, yr hyn ydoedd yn awr gerllaw. Yr oedd yn wir mewn cyflwr gresynus o herwydd agoshâd anocheladwy angau, ac a gerddodd ym mlaen yn gyflym yn ei thaith; ond mewn amgylchiad pur annedwydd, o achos ei mab; canys pa fwyaf o frys a wnai, cyntaf y gwelai ei mab yn marw; etto 'r oedd yn rhaid iddi wneuthur y fath frys ar gyfrif ei gwr. Yn ganlynol wedi iddi ddyfod yn ol, hi gafodd fod y plentyn wedi rhoddi i fynu 'r yspryd, fel y dywedasai y prophwyd; a hi adroddodd yr holl amgylchiadau i'r brenin.

Jeroboam, pa fodd bynnag, ni osododd ddim o'r pethau hyn at ei galon; eithr efe a gasglodd ynghyd fyddin dra lliosog, ac a wnaeth ymgyrch yn erbyn Abijah, mab Rehoboam, yr hwn a lywodraethodd ar y ddau lwyth ar ol ei dad. Canys yr oedd efe yn ddiystyrllyd o hono o herwydd ei oedran. Ond pan glybu efe am ymgyrch Jeroboam, nid oedd yn ddychrynedig o'i blegid, ond a brofodd yn un o dymmer a meddwl uwchlaw ei ieuengctyd ei hun, a gobaith ei elyn. Felly efe a etholodd fyddin allan o'r ddau lwyth, ac a gyfarfu â Jeroboam,

* 1 Bren. xiv. 18.

mewn lle a elwid mynydd Zemaraim, ac a wersyllodd yn agos i'r lleill, gan wneuthur pob parodrwydd erbyn yr ymladdfa. Ei fyddin oedd gynnwysedig o bedwar can mil; ond byddin Jeroboam oedd y nifer hwnnw yn ddeublyg. Yn awr fel yr oedd y byddinoedd wedi eu trefnu yn barod i ymladd, ac ym min myned i'r frwydr; Abijah a safodd ar uchelfa neu fryn, a chan wneuthur arwydd â'i law, efe a ddymunodd ar y llïaws, a Jeroboam ei hun, wrando yn gyntaf ar yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd. A phan wnaethpwyd distawrwydd, efe a ddechreuodd lefaru yn debyg i hyn: "Duw a gyttunodd i Ddafydd a'i hiliogaeth fod yn llywodraethwyr arnoch tros yr holl amser i ddyfod; a hyn nid ydych eich hunain yn anadnabyddus o hono. Ond nis gallaf lai na rhyfeddu paham y gadawsoch fy nhad, ac ymgyssylltu eich hunain â'i was Jeroboam; ac ydych yn sefyll yn awr yma gyd ag ef i ymladd yn erbyn y rhai, wrth ordeiniad Duw ei hun, ag sydd i deyrnasu, ac i geisio eu hymddifadu o'r llywodraeth pa un hyd yn awr a gadwasant; canys am y rhan fwyaf o honi, Jeroboam sydd yn anghyfiawn mewn meddiant o honi. Pa fodd bynnag, nid wyf yn meddwl y mwynhâ efe hi lawer yn hwy: ond pan ddioddefo y gospedigaeth ag y mae Duw yn ei farnu yn ddyledus iddo, efe a edy heibio y troseddau y bu efe yn euog o honynt; a'r cam a gynnygiodd ei wneuthur iddo ef, ac a barhaodd hyd yn hyn ei gynnyg, gan eich perswadio chwithau i wneud yr unrhyw. Etto pan na chawsoch driniaeth anghyfiawn gan fy nhad, ymhellach nac iddo beidio llefaru wrth eich bodd; a hynny yn unig mewn cydymffurfiad â chyngor dynion drygionus, chwychwi mewn digter a'i gadawsoch *ef*, megis y cymmerasoch arnoch; ond mewn gwirionedd chwi a ymadawsoch eich hunain â *Duw*, ac a'i gyfreithiau ef; er y buasai yn gymmwys i chwi faddeu i ddyn mor ieuangc, nid yn unig rai geiriau byrbwyll; ond pe buasai i'w ieuengctyd a'i anghywreinrwydd yn achosion y deyrnas yn ei arwain i ryw aflwyddiant, a hynny o herwydd ei dad Solomon, a'r budd a dderbyniasoch oddiwrtho ef. Canys dynion a ddylent esgusodi pechodau hiliogaeth, ar gyfrif y lleshad a gawsant oddiwrth eu rhieni. Ond ni ystyriasoch chwi ddim o hyn oll y pryd hynny, ac nid ydych yn awr yn ei ystyried, pan ydych yn dyfod gyd â byddin mor fawr i'n herbyn. A pha beth yw'r hyn ag ydych yn ymddibynnu arno am fuddugoliaeth? Ai ar yr annerau aur, a'r allorau sydd gennych mewn uchelfeydd, y rhai ydynt arwyddion amlwg o'ch annuwiaeth, ac nid o grefyddol addoliad? Neu a ydyw yn lliosowgrwydd anneirif eich byddin y peth sy'n rhoi gobaith mor dda i chwi? Etto yn sicr nid oes rym mewn byddin o gynnifer miloedd pan fyddo y rhyfel yn anghyfiawn. Canys nyni a ddylem osod ein gobaith pennaf am lwyddiant yn erbyn ein gelynion mewn cyfiawnder yn unig, a'n huniondeb tu ag at Dduw. Yr hwn obaith sydd yn gyfiawn gennym, tra'r ydym wedi cadw'r cyfreithiau o'r dechreuad, a chynnal addoliad y gwir Dduw, yr hwn ni luniwyd â dwylaw dyn, o ddefnyddiau llygredig; ac ni ffurfiwyd gan frenin annuwiol mewn trefn i dwyllo'r llïaws, ond sydd o'i wneuthuriad ei hun,* y dechreu a'r diwedd o bob peth. Yr wyf gan hynny yn eich cynghori yn awr i edifarhau, a chymmeryd gwell cyngor, a gadael o'r neilldu ryfela; i gymmeryd at eich ystyriaeth gyfreithiau eich gwlad, a pheth oedd yr hyn a'ch dyrchafodd i'r fath amgylchiad dedwydd ag ydych yn awr ynddo."

Dyma'r araith a wnaeth Abijah wrth y llïaws. Ond tra'r ydoedd efe etto yn llefaru, Jeroboam a anfonodd rai o'i filwyr yn ddirgel i'w amgylchynu yn rhyw rannau neillduol o'r gwersyll na chymmerid sulw o honynt. A phan ydoedd fel hyn o fewn cylch ei elyn, dychrynodd ei fyddin, a'u gwroldeb a'u gadawodd hwynt. Ond Abijah a'u cefnogodd, ac a'u cynghorodd i osod eu gobaith ar Dduw; canys nid ydoedd *efe* wedi ei amgylchu gan y gelyn. Felly hwy oll ar unwaith a erfyniasant y dwy-

* Ymadrodd dieithr yw hwn o eiddo Josephus, sef, mai ei waith ei hun yw Duw, neu iddo ef ei wneuthur ei hun, yn wrthwyneb i reswm cyffredin, ac i gristionogrwydd: Gosod. Apost, VI. 11, Ysgatfydd ei fod yn unig yn meddwl na wnaethid ef gan neb, ond a ydoedd yn annechnechreuol. Gwel nod Cotelerius ar y lle rhagddywededig o'r Gosodiadau.

folgynnorthwy, tra 'r ydoedd yr offeiriaid yn lleisio yn yr udgyrn, a hwy a roisant floedd, ac a syrthiasant ar eu gelynion: a Duw a ddrylliodd wrolder, ac a dynnodd i lawr rym eu gelynion, ac a wnaeth i fyddin Abijah gael yr oruchafiaeth arnynt. Canys Duw a ganiattaodd iddynt fuddugoliaeth dra rhyfedd a chlodfawr; a'r fath alanastra * a wnaethpwyd yn awr o fyddin Jeroboam, a'r na chofféir iddo ddigwydd mewn un rhyfel arall; pa un bynnag ai ym mhlith y Groegiaid neu 'r Barbariaid; canys hwy a ddymchwelasant ac a laddasant bum can mil o'u gelynion; † a hwy a gymmerasant eu dinasoedd cadarnaf trwy drais, ac a'u hyspeiliasant; ac heblaw y rhai hyn hwy a wnaethant yr un peth i Bethel a'i phentrefi, a Jeshanah a'i maesdrefi. Ac ar ol y gorchfygiad hwn, ni adferodd Jeroboam ei hunan fyth i'w gynnefin amgylchiad tra parhaodd bywyd Abijah, yr hyn ni fu yn hir ar ol hynny; canys ni theyrnasodd ond tair blynedd, ‡ ac efe a gladdwyd yn Jerusalem, ym meddrod ei dadau. Efe a adawodd o'i ol ddau ar hugain o feibion, ac un ar bymtheg o ferched; ac efe a gafodd y plant yma hefyd o bedair ar ddeg o wragedd; a'i fab Asa a'i dilynodd yn y frenhiniaeth; ac enw mam y gwr ieuangc ydoedd Michaiah. O tan ei deyrnasiad ef gwlad yr Israeliaid a fwynhaodd heddwch tros ddeng mlynedd.

Ond Jeroboam, brenin y deg llwyth, a fu farw, wedi iddo deyrnasu ddwy flynedd ar hugain. § Ei fab Nadab a lywodraethodd ar ei ol ef yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Asa; ac a lywodraethodd ddwy flynedd, ac a debygodd i'w dad mewn annuwioldeb a drygioni. O fewn i'r ddwy flynedd hyn efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Gibbethon, dinas y Philistiaid ac a barhaodd i warchae arni mewn trefn i'w chymmeryd; ond efe a gydfradwriaethwyd i'w erbyn tra 'r ydoedd yno, gan gyfaill iddo; enw 'r hwn oedd Baasha, mab Ahijah, ac a'i lladdwyd ef. Baasha a gymmerodd arno lywodraeth y deyrnas yn ol marw y llall, ac a ddifethodd holl dŷ Jeroboam. Daeth hefyd o amgylch, fel y rhagfynegwyd gan Dduw, fod i rai o garennydd Jeroboam a fuont feirw yn y ddinas gael eu rhwygo yn llarpiau a'u difetha gan gŵn, ac i eraill o honynt a fu farw yn y maesydd gael eu difa gan yr ehediaid. Felly teulu Jeroboam a ddioddefasant gospedigaeth gyfiawn ei annuwioldeb a'i ddrwg weithredoedd.

## PENNOD XII.

*Am amgylchiadau Asa, brenin Jerusalem; distrywiad tŷ Baasha, ac ymddygiad ei ddilynol lywodraethwyr ar orseddfaingc Israel.*

YN awr Asa, brenin Jerusalem, ydoedd yn un o ymarweddiad daionus, ac a ydoedd yn parchu addoliad Duw; ac ni wnaeth, neu a fwriadodd, ond yr hyn oedd gyttunol â'r cyfreithiau. Efe a wnaeth ddiwygiad yn ei deyrnas, ac a dorrodd ymaith pa beth bynnag oedd yn ddrwg ynddi, ac a'i purodd oddiwrth bob ammhurdeb. Yn awr yr oedd ganddo fyddin o ddynion detholedig wedi eu harfogi â tharianau ac â gwaywffyn: allan o lwyth Judah tri chan mil; ac o lwyth Benjamin, yn dwyn tariannau a bwäau, dau cant a deg a deugain o filoedd. Ond wedi iddo deyrnasu ddeg o flynyddoedd, Zerah, brenin Ethiopia, ‖ a wnaeth ymgyrch yn ei erbyn ef, ¶ gyd â byddin liosog o naw can mil o wyr traed, can mil o wŷr meirch, a thri chant o gerbydau: ac a ddaeth cyn belled i'r tir a Maresha, ** dinas a berthynai i lwyth Judah. Yn awr wedi i Zerah ddyfod ym mlaen mor belled gyd a'i fyddin ei hun, Asa a'i cyfarfu ef, ac a drefnodd ei fyddin gogyfer ag ef, mewn dyffryn a elwid Zepathan, heb

* Trwy y lladdfa arswydus ac anghydmarol yma o 500,000 o wŷr allan o'r newydd eilun-addolwyr a gwrthryfelgar ddeg llwyth, uchel anfoddlonrwydd a digter Duw yn erbyn yr eilun-addoliaeth a'r gwrthryfel hwnnw a ymddangosodd yn gyflawn: y gweddill o honynt trwy hynny a rybuddiwyd i beidio a pharhau ynddo; a math o uniawn-bwys a osodwyd rhwng y deg a'r ddau lwyth, tros yr amser i ddyfod; o herwydd mewn modd arall y parhaus eilun-addolgar a gwrthryfelgar ddeg llwyth, a fuasent o naturiaeth yn rhy drech i'r ddau lwyth, y rhai yn ganolig fynych oeddynt rydd oddiwrth y fath eilun-addoliaeth a gwrthryfel. Ac nid oes, oddiwrth y canlyniad, un rheswm i ammeu y gwirionedd o laddiad y nifer anferth yma, ar achos mor dra hynod.

† 2 Cron. xiii. 17.

‡ O'r Fl. 959 hyd 957: dwy flynedd a saith mis.

§ O'r Fl. 975 hyd 955: wrth 11 mis yn y flwyddyn. Gwel Cron. yr Hen Dest. t. d. 16---20.

‖ Cofied y darllennydd nad wrth Cush y meddylir Ethiopia, ond Arabia. Gwel Bochart Phaleg. IV. 2.

¶ Bl. 947. ** 2 Cron. xiv. 9.

fod neppell o'r ddinas. A phan welodd lïaws yr Ethiopiaid, efe a lefodd allan, ac a ymbiliodd â Duw am roddi iddynt y fuddugoliaeth, a gallu o hono ef ladd amryw filoedd o'r gelynion. "Canys" eb efe, "nid wyf yn ymddibynnu ar ddim arall ond y cymmorth hwnnw ag wyf yn ei ddisgwyl oddi wrthyt ti; yr hwn sy'n alluog i wneud i'r nifer leiaf ragori ar un fwy ei rhifedi, ac i wneuthur y gwannaf yn gryfaf: ac ar gyfrif hynny yn unig yr wyf yn anturio cyfarfod Zerah, ac ymladd ag ef."

Tra 'r oedd Asa yn llefaru fel hyn, Duw a roddodd iddo arwydd o fuddugoliaeth; a chan ymgyssylltu yn y frwydr yn siriol o herwydd yr hyn a ragfynegasai Duw yn ei chylch iddo, efe a laddodd rifedi mawr o'r Ethiopiaid: ac wedi gwneuthur iddynt ffoi, efe a'u herlidiodd hyd wlad Gerar. A phan beidiasant a lladd eu gelynion, cymmerasant yn llaw eu hyspeilio hwynt, (canys dinas Gerar yn barod a gymmerasid,) ac i yspeilio eu gwersyllfa. Felly hwy a ddygasant ymaith lawer o aur, ac arian, a llawer iawn o ysglyfaeth arall, camelod, gwartheg, a diadellau o ddefaid. Yn ganlynol wedi i Asa a'i fyddin gael y fath gyflawn fuddugoliaeth, a'r fath gyfoeth gan Dduw, hwy a ddychwelasant i Jerusalem. Yna fel yr oeddynt yn dyfod yno, prophwyd, enw 'r hwn oedd Azariah, a'u cyfarfu hwynt ar y ffordd, ac a barodd iddynt attal eu taith ychydig; ac a ddechreuodd ddywedyd wrthynt, mai y rheswm paham y cawsant yr oruchafiaeth hon gan Dduw ydoedd, am iddynt ddangos eu hunain yn ddynion cyfiawn a chrefyddol, a gwneuthur o honynt bob peth wrth ewyllys Duw; ac mai os parhaent yn hynny, Duw a ganiattai iddynt bob amser oruchafiaeth ar eu gelynion, a bywyd o ddedwyddwch: ond os gadawent ei addoliad ef, pob peth a dröai allan i'r gwrthwyneb; ac amser a ddeuai,* yn mha un ni adewid un gwir brophwyd ym mysg eu holl lïaws; nac offeiriad yr hwn a ddygai un gwir attebiad oddiwrth yr oracl, (mynegfa:) ond eu dinasoedd a ddadymchwelid, a'u cenedl a wasgarid tros yr holl ddaear, i fyw yn amgylchiad dieithriaid a rhai crwydredig. Felly efe a'u cynghorodd hwynt, tra 'r oedd amser ganddynt, i fod yn dda, ac i beidio ymddifadu eu hunain o ffafr Duw. Wedi i'r brenin a'r bobl wrando hyn, hwy a lawenychasant; ac oll o honynt yn gyffredin, a phob un yn neilltuol, a gymmerasant ofal mawr i ymddwyn eu hunain yn gyfiawn.† Y brenin hefyd a ddanfonodd swyddogion i ofalu am i'r rhai a arhosai yn y wlad, sylwi yn fanwl ar y cyfreithiau.

Yr wyf yn awr yn dychwelyd at Baasha, brenin y lliaws o Israeliaid, yr hwn a laddodd Nadab, mab Jeroboam, ac a feddiannodd y llywodraeth. Efe a drigodd ‡ yn ninas Tirzah: ac wedi sefydlu ei breswylfod, efe a deyrnasodd bedair blynedd ar hugain. Efe a aeth yn fwy llygredig ac annuwiol na Jeroboam neu ei fab: canys efe a wnaeth ddrwg mawr i'r bobl, ac yr oedd yn niweidiol i Dduw. Y prophwyd Jehu gan hynny a anfonwyd i'w rybuddio ym mlaenllaw, y byddai i'w holl deulu gael eu difetha; ac y byddai i Dduw ddwyn yr un trueni ar ei dŷ ef, ac a ddygodd yr eiddo Jeroboam i ddinystr: canys wedi ei wneud yn frenin ganddo ef, ni ddychwelodd yn ol y gymmwynas a dderbyniasai, trwy lywodraethu y lïaws yn gyfiawn ac yn grefyddol; yr hyn bethau yn y lle cyntaf oedd yn tueddu i'w happusrwydd eu hunain; ac yn nesaf er boddlonrwydd i Dduw; ddarfod iddo ef ddilyn annuwiol siamplau Jeroboam; ac er darfod am y dyn annedwydd hwnnw, a'i fyned i golledigaeth, etto 'r ydoedd efe yn cynnal yn fyw ei annuwioldeb; ac efe a ddywedodd y byddai iddo gael profi o'r un gospedigaeth ag ef, gan ddyfod o hono yn euog o'r un trosedd. Ond Baasha, er clywed o hono ym mlaenllaw pa drueni a'i goddiweddai ef a'i holl deulu, am eu hymddygiad rhyfygus; etto ni adawodd efe ei ddrwg arferion yn yr amser canlynol; ac ni ofalodd efe am ddangos ei hun yn amgen na myned waeth-waeth hyd ei farwolaeth; ac nid oedd efe yn ei ddiwedd yn edifarhau am ei weithredoedd o'r blaen, nac yn ymdrechu i gael maddeuant gan Dduw o'u

*Y mae cyfeiliornad mawr yma yn ein copiau Hebraeg yn y lle yma, 2 Cron. xvi. 3—6, trwy gymhwyso y pethau a ganlyn at amser a aeth heibio, ac nid at amserau i ddyfod.

† 2 Cron. xv. 8. ‡ Bl. 954.

herwydd: ond efe a wnaeth megis y rhai hynny ag y byddo gwobr yn cael ei gynnyg iddynt, pan unwaith yr ymosodent ynghylch y gwaith, ni fynnant roddi heibio eu llafur. Canys fel hyn y tyfodd Baasha yn waeth wedi i'r prophwyd ragfynegi iddo yr hyn a ddeuai o amgylch; megis pe buasai bygythiad dinystr ei deulu, a distryw ar ei holl dŷ yn rhyw beth daionus; ac fel pe buasai yn ymladdwr tros annuwioldeb, efe a gymmerodd beunydd fwy o boen o'i herwydd. Ac o'r diwedd efe a gymmerodd ei fyddin ac a ymosododd ar ddinas nid anenwog, a elwid Ramah, yr hon oedd a'i phellder yn ddeugain o 'stadau o Jerusalem: ac yn ol ei chymmeryd efe a'i hamddiffynodd hi; wedi iddo o'r blaen benderfynu gosod nifer o filwyr i wersyllu ynddi; fel y byddai iddynt oddi yno wneuthur rhuthriadau achlysurol, a drygau i deyrnas Asa.

Ar hyn Asa yn ofni 'r ymosodiadau a allai 'r gelyn wneuthur arno ef; a chan ystyried ynddo ei hun pa faint o niweid a wnai y wersyllfa yma a adawid yn Ramah i'r wlad tros yr hon yr oedd efe yn teyrnasu, efe a anfonodd * gennadwyr at frenin y Damasciaid, gyd ag arian ac aur, i ddymuno ei gynnorthwy ef: gan ei ddodi ar gôf o'r gyd gymdeithas † a fuasai rhyngddynt hwy er amser eu tadau. Felly efe yn foddlongar a dderbyniodd y swm hynny o arian; ac a wnaeth gyngrair ag ef, gan dorri 'r gyfeillach oedd rhyngddo a Baasha; ac a ddanfonodd flaenoriaid ei fyddinoedd ei hun i'r dinasoedd ag oedd tan arglwyddiaeth Baasha, gan orchymmyn eu drygu hwynt. Felly hwy a aethant ac a losgasant rai o honynt, ac a yspeiliasant y lleill; Ijon, Dan, ac Abelmaim, ‡ a llawer eraill. Yn awr pan glybu brenin Israel hyn, efe a adawodd heibio adeiladu ac ymddiffyn Ramah, ac a ddychwelodd i gynnorthwyo ei bobl ei hun tan yr amgylchiadau cyfyng yr oeddynt ynddo. Ond Asa a wnaeth ddefnydd o'r pethau a barottoisid at adeiladu 'r ddinas, i gyfodi yn yr un ardal ddwy o ddinasoedd cedyrn; un o'r rhai a elwid Geba, a'r un arall Mizpah. Felly ar ol hyn ni bu gan Baasha ddim hamdden i wneud ymgyrch yn erbyn Asa, canys efe a luddiwyd i hynny gan angau, ac a gladdwyd yn ninas Tirzah.§ Elah ei fab a gymmerodd arno y deyrnas; ond wedi iddo deyrnasu dwy flynedd, efe a laddwyd yn fradwrus gan Zimri, cadben ar hanner ei fyddin: canys pan ydoedd mewn gwledd yn Arza, tŷ ei oruchwyliwr, efe a berswadiodd rai o'i wŷr meirch ag oedd dano ef i ruthro ar Elah; a thrwy 'r moddion hynny efe a'i lladdodd, pan ydoedd heb ei filwyr na'i gadbeniaid o'i amgylch, canys yr oeddynt hwy oll yn prysur warchae ar Gibbethon, dinas y Philistiaid.

Wedi i Zimri, cadben y fyddin, ladd Elah, efe a gymmerodd y deyrnas ei hun; ac, yn ol prophwydoliaeth Jehu, a laddodd holl dylwyth Baasha. Canys fe ddaeth o amgylch ddarfod i dŷ Baasha gael ei ddinystrio yn hollawl ar gyfrif ei annuwioldeb, yn yr un modd ag yr adroddasom eisoes am ddinystr tŷ Jeroboam. Ond y fyddin oedd yn gwarchae ar Gibbethon, pan glywsant am yr hyn a oddiweddodd y brenin; ac mai wedi ei ladd gan Zimri ‖ iddo ef ynnill y deyrnas, hwythau a sefydlasant y llywodraeth ar Omri eu blaenor hwynt, yr hwn a dynnodd ymaith ei fyddin o Gibbethon, ac a ddaeth i Tirzah, lle'r oedd y tŷ brenhinol; yno 'r ymosododd ar y ddinas, ac a'i cymmerodd trwy drais. Ond pan welodd Zimri nad oedd gan y ddinas neb i'w hamddiffyn, efe a giliodd i gwrr eithaf y palas gan ei osod ar dân, a llosgi ei hunan ynddo, ¶ wedi iddo deyrnasu yn unig saith niwrnod. Ar hyn pobl Israel yn y fan a ymranasant; ac un rhan o honynt a fynnai Tibni yn frenin, ac eraill Omri; ond wedi i'r rhai oedd am Omri i lywodraethu fyned yn drech na'r rhai oedd am Tibni, Omri a ddodwyd i lywod-

* Ynghylch y Fl. 937. † Gwel 1 Bren. xix. 15.---xx. 24.

‡ Yr Abelmaim yma, neu ynghopi Josephus, Abelane, ag oedd yn perthyn i dir Israel, ac ar gyffiniau gwlad Damascus, a feddylir gan Hudson i fod yr un ag Abel neu Abila, o'r hyn y tarddodd Abilene, Luc iii. 1. Yr un yma a ddichon fod y ddinas honno a elwid felly oddiwrth Abel gyfiawn a gladdwyd yno, ymherthynas i dywalltiad gwaed yr hwn o fewn terfyn tir Israel, yr wyf yn deall geiriau ein Iachawdwr ynghylch y rhyfel dinystriol, a dadymchweliad Judea gan Titus, a'i luoedd Rhufeinaidd: "Fel y delo arnoch chwi yr holl waed cyfiawn a'r a ollyngwyd ar y ddaear, o waed Abel gyfiawn hyd waed Zacharias fab Barachias, yr hwn a laddasoch rhwng y deml a'r allor. Yn wir meddaf i chwi daw hyn oll ar y genhedlaeth hon," Matth. xxiii. 35, 36. Luc xi. 51. Gwel yn Saesnaeg Authen. Rec. Rh. II. t. d. 884, 885.

§ 1 Bren. xvi. 6. ‖ Ynghylch Bl. 930. ¶ 1 Bren. xvi. 18.

raethu ar yr holl bobl. Yn awr yr oedd yn y ddegfed flwyddyn ar hugain* o deyrnasiad Asa, pan deyrnasoedd Omri am ddeuddeng mlynedd; chwech o'r blynyddau hyn a deyrnasodd yn ninas Tirzah, a'r gweddill mewn dinas a elwid Semareon, ac a enwid gan y Groegiaid Samaria. Ond efe ei hun a'i galwodd Semareon, oddiwrth Semer, yr hwn a werthasai iddo 'r mynydd ar ba un yr adeiladodd hi. Yn awr nid oedd Omri mewn un modd yn gwahaniaethu oddiwrth y brenhinoedd hynny a fuasai o'i flaen ef; ond yn unig iddo dyfu yn waeth na hwynthwy; canys hwy oll a geisiasant allan ffordd i droi y bobl ymaith oddiwrth Dduw, trwy eu beunyddiol ymarferiadau annuwiol. Ac ar y cyfrif hwnnw yr ydoedd ddarfod i Dduw eu gadael y naill i ladd y llall; ac fel na byddai i un o'u teulu gael ei adael yn fyw. Yr Omri hwn hefyd a fu farw yn Samaria, ac Ahab ei fab a lywodraethodd yn ei le ef.†

Yn awr oddiwrth y canlyniadau hyn gallwn ddysgu pa ofal sydd gan Dduw am achosion dynolryw; ac fel y mae 'n hoff ganddo ddynion da, ac yn casau y rhai drygionus, ac yn eu difetha wreiddyn a changen. Canys llawer o'r brenhinoedd hyn ar Israel, ynghyd â'u teuluoedd a ddifethwyd yn druenus, ac a gymmerwyd ymaith y naill gan y llall mewn byrr amser, am eu troseddiadau. Ond Asa, yr hwn oedd frenin Jerusalem a'r ddau lwyth, trwy fendith Duw, a gyrhaeddodd hir a dedwyddol oedran, o herwydd ei dduwioldeb a'i gyfiawnder; ac a fu farw yn ddedwydd wedi iddo deyrnasu un mlynedd a deugain. Ac wedi ei farw, ei fab Jehosaphat ‡ a'i canlynodd yn y llywodraeth. Efe a anesid o wraig i Asa, a elwid Azubah. A phawb a addefasant iddo ef ganlyn gweithredoedd Dafydd ei gyndad, a hynny mewn gwrolder a duwioldeb. Ond nid ydym yn rhwymedig yn awr i lefaru ychwaneg am achosion y brenin hwn.

## PENNOD XIII.

*Am annuwioldeb Ahab brenin Israel; Gweithredoedd y Prophwyd Elias; a llofruddiad Naboth.*

AHAB, brenin Israel, a drigodd yn Samaria, ac a feddiannodd y llywodraeth tros ddwy flynedd ar hugain; ac ni chyfnewidiodd ddim o ymarferiadau y brenhinoedd a fuasent o'i flaen ef, ond yn unig yn y pethau ag oedd o'i ddyfais ei hunan er gwaeth, ac yn unol â'i anwiredd mwyaf cywilyddus. Efe a'u dilynodd hwynt yn eu hymarweddiad llygredig, ac yn eu hymddygiad ammharchus tu ag at Dduw; ac yn enwedig efe a ddilynodd droseddiadau Jeroboam. Canys efe a addolodd yr annerau a wnaethai efe; ac efe a ddyfeisiodd wrthddrychau anaddas eraill o addoliad. Efe hefyd a briododd Jezebel, merch Ethbaal, brenin y Tyriaid a'r Sidoniaid; gan yr hon y dysgodd addoli ei duwiau ei hun. Y wraig hon ydoedd o dymmer astud a bywiog; ac a aeth rhagddi i'r fath radd o ammhurdeb a delw-addoliaeth, fel yr adeiladodd deml i dduw y Tyriaid, yr hwn a alwent Belus, ac a blannodd lwyn o bob math o brennau: hi hefyd a appwyntiodd offeiriaid a gau brophwydi i'r duw hwn. Y brenin oedd ganddo hefyd ei hun amryw o'r cyffelyb o'i amgylch; ac felly a ragorodd mewn gwallgof annuwiol ar yr holl frenhinoedd a fuasai o'i flaen ef.

Yn awr § yr ydoedd prophwyd i Dduw, o Thesbon, yng ngwlad Gilead, a ddaeth at Ahab, ac a ddywedodd wrtho, ddarfod i Dduw ragfynegi, na ddanfonai wlaw neu wlith yn y blynyddau hynny ar y wlad, nes yr ymddangosai efe. ‖ Ac wedi iddo gadarnhau hyn trwy lw, efe a ymadawodd i'r parthau deheuol, ac a wnaeth ei drigfa wrth afon, allan o'r hon y cafodd ddwfr i'w yfed; ac ymherthynas i'w fwyd, cigfrain a'i dygasant iddo bob dydd. Ond wedi i'r afon honno sychu i fynu, o ddiffyg gwlaw, efe a ddaeth i Zarephath, dinas rhwng Sidon a Tyre, a hynny wrth orchymmyn Duw. Canys Duw a ddywedodd y cyfarfyddai yno â gwraig yr hon oedd weddw, a roddai gynnaliaeth iddo ef. Felly pan nad oedd efe neppell o'r ddinas,

* Yr unfed ar ddeg ar hugain, Hebraeg a'r Septuagint.
† Bl. 919. ‡ Bl. 916.

§ Ynghylch Bl. 910.
‖ 1 Bren. xvii. 1.

efe a ganfu wraig yn casglu briwydd. Felly Duw a hyspysodd iddo mai hon oedd yr un a roddai gynnaliaeth iddo ef: felly efe a ddaeth ac a'i cyfarchodd hi, ac a ddymunodd arni ddwyn iddo beth dwfr i'w yfed. Ond pan oedd yn myned i wneuthur hynny, efe a'i galwodd hi, ac a ddymunodd arni ddwyn iddo dorth o fara. Hithau a sicrhaodd iddo trwy lw, nad oedd yn ei chartref ddim ychwaneg na llonaid llaw o flawd ac ychydig olew; a'i dyfod hi i gasglu briwydd, fel y gallai ei dylino, a gwneud bara o hono iddi hi a'i mab, ar ol yr hyn dywedodd, y bydd-ai raid iddynt farw gan y newyn, canys nid oedd ganddynt mwy ddim at eu cynnaliaeth. Ar hyn efe a ddywedodd, "Dos ym mlaen yn galonnog, a gobeithia am well pethau: ond yn gyntaf oll gwna i mi deisen fechan, a dwg hi yma i mi; canys yr wyf yn rhagfynegi i ti, na fetha y blawd yn y celwrn, na'r olew yn yr ystên, hyd oni roddo Duw wlaw ar y ddaear." Wedi i'r prophwyd ddywedyd hyn hi a ddaeth atto ef, ac a grasodd y teisennau; o'r rhai yr oedd ganddi ran iddi hi a'i mab; a rhan arall i'r prophwyd: ac ni phallodd ddim o hyn hyd oni ddarfu y sychdwr. Yn awr y mae Menander yn crybwyll am y sychdwr hwn, yn ei hanes o weithredoedd Ethbaal, brenin y Tyriaid; lle y mae yn dywedyd, "O dano ef y bu diffyg gwlaw o'r mis Hyperberetœus, hyd y mis Hyperberetœus y flwyddyn ganlynol. Ond pan wnaeth efe erfyniadau, fe ddigwyddodd taranau mawr-ion. Yr Ethbaal hwn a adeiladodd y ddinas Botrus yn Phœnicia, a'r ddinas Auza yn Lybia." Wrth y geiriau hyn yr oedd yn meddwl y diffyg hwnnw o wlaw yn nyddiau Ahab: canys yn ei amser ef hefyd yr ydoedd efe yn teyrnasu ar y Tyriaid, fel yr ysgrifennodd Menander.

Yn awr mab y wraig hon a borthodd y pro-phwyd, a gwympodd yn glaf, nes iddo roddi i fynu yr yspryd, ac ymddangos megis pe buasai wedi marw. Y fam gan hynny a ddaeth at y prophwyd, gan wylo a churo ei dwyfron, a llefaru y fath eiriau ag oedd ei theimladau yn ei chymmell; gan achwyn wrtho ddyfod o hono atti i'w gwaradwyddo oblegid ei phechodau; ac mai ar y cyfrif hwn yr ydoedd ddarfod i'w mab farw. Ond efe a barodd iddi ymgysuro, a rhoddi ei mab i'w ofal ef; oblegid y dychwelai ef iddi yn fyw drachefn. Felly pan roddodd hi ei mab i fynu iddo, efe a'i dug i oruwch 'stafell, lle 'r oedd efe ei hun yn llettŷa, ac a'i gosododd ar ei wely; ac efe a lefodd wrth Dduw, gan ddywedyd na wnaethai Duw yn iawn yn gwo-brwyo y wraig a'i cynnaliasai ef, trwy gymmeryd ymaith ei mab, ac efe a weddiodd ar ddychwel-yd o hono enaid y plentyn yn ol iddo drachefn, a'i adferyd i fywyd. Yn ganlynol Duw a dos-turiodd wrth y fam, ac ydoedd foddlon i gan-iattau dymuniad y prophwyd, fel nad ymddang-osai iddo ef ddyfod atti i'w drygu hi; a'r plentyn, tu hwnt i bob disgwyliad, a ddaeth yn fyw drachefn. Felly ei fam a ddychwelodd ei diolch i'r prophwyd, ac a ddywedodd ei bod yn awr wedi cael boddlonrwydd eglur fod Duw yn cymdeithasu ag ef.*

Ychydig amser† yn ol hynny,‡ Elias a ddaeth at frenin Ahab, yn ol ewyllys Duw, i hyspysu iddo fod gwlaw yn dyfod. Yn awr yr oedd y newyn wedi goresgyn yr holl wlad, ac yr oedd diffyg mawr o'r hyn oedd angenrheidiol at gyn-naliaeth: yn gymmaint ag nad dynion yn unig oedd mewn eisiau, ond y ddaear hefyd oedd mewn diffyg o wlaw, yr hon ni ddygodd laswellt yn ddigonol i gynnal y meirch ac anifeiliaid def-nyddiol eraill, o herwydd y sychdwr. Felly y brenin a alwodd am Obadiah yr hwn oedd olygwr ar ei feirch, a'i finteioedd eraill o ani-feiliaid, ac a ddywedodd wrtho, ar iddo fyned at ffynhonnau dyfroedd ac afonydd; fel os gell-id cael rhyw laswellt, y byddai iddynt ei dorri i lawr, a'i gynhauafu i'r anifeiliaid. Ac wedi iddo ddanfon dynion tros yr holl fyd § cyfan-

* Gwel 1 Bren. xvii. 17—21.

† Josephus, yn ei gopiau presennol, a ddywed, mai ym mhen ychydig ar ol adferiad mab y weddw o Sarepta ddarfod i Dduw anfon gwlaw ar y ddaear. Pan, yn ein copiau eraill, y mae ar ol llawer o ddyddiau, 1 Bren. xviii. 1. Amryw flynyddau a arwyddir yno hefyd, megis yn perthynu i'r sychdwr a'r newyn hwn. Ie, y mae gennym grybwylliad pendant am dair blynedd; yr hyn yr wyf yn tybied a gyfrifwyd o ad-feriad mab y weddw, a darfodiad y sychdwr hwn yn Phoenicia, yr hwn fel y mae Menander yn ein hyspysu yma, a barhaodd flwyddyn gyfan. A'n Hiachawdwr a St. Iago sy'n cadarnhau i'r sychdwr hwn barhau dair blynedd a chwe mis, fel yr oedd eu copiau o'r Hen Destament y pryd hwnnw yn dangos, Luc iv. 25. Iago v. 17. Yr wyf gan hynny yn ammau nad oedd darlleniad Josephus ddim ychydig amser ar ol hynny.

‡ Ynghylch Bl. 913

§ Josephus sy 'n ymddangos yma fel yn meddwl, fod y sychdwr yn niweidiol i'r holl wledydd cyfanneddol.

neddol i chwilio allan y prophwyd Elias, ac heb ei gael, efe a barodd i Obadiah ei ddilyn ef. Felly fe benderfynwyd iddynt ymdeithio ym mlaen, a rhannu y ffyrdd rhyngddynt; a'r brenin a aeth ar hyd un ffordd, ac Obadiah ar hyd ffordd arall. Yn awr fe ddigwyddodd pan laddodd y frenhines Jezebel y prophwydi, ddarfod i'r Obadiah yma guddio can prophwyd, a'u diwallu a bara a dwfr. * Ond pan oedd Obadiah yn ymdeithio wrtho ei hun, ac yn absennol o gwmp'ni 'r brenin, y prophwyd Elias a gyfarfu ag ef, ac a ofynnodd iddo pwy ydoedd? ac wedi ei adnabod, efe a'i cyfarchodd ef. Yna Elias a barodd iddo fyned at y brenin, a dywedyd wrtho ei fod yn barod i ymddangos iddo ef. Ond Obadiah a attebodd, "Pa ddrwg a wnaethym i ti, pan yr wyt yn fy anfon at un ag sy 'n ymgais â dy ladd di, ac a ddanfonodd trwy 'r ddaear am danat. Neu a ydwyt mor anhyspys a bod heb wybod, na adawodd y brenin un man heb ymgais ag ef, i ba un na ddanfonodd ddynion mewn trefn i'th ddwyn yn ol, os medrent dy gael di, i'th roddi i farwolaeth?" Efe hefyd a addefodd ei fod yn ofni rhag i Dduw etto ymddangos iddo, a symmud o hono ef yn ddisymmwth i le arall; ac mai pan anfonai y brenin ef i geisio Elias, ac yntau heb allu ei gael ef, y rhoddai ef i farwolaeth. Efe a ddymunodd iddo, gan hynny, ofalu am ei ddiogelwch; ac a ddywedodd wrtho mor ddyfal yr oedd wedi arlwyo gogyfer a'r rhai o'i swydd ei hun, ac achub cant o brophwydi, pan laddodd Jezebel y gweddill o honynt, ac iddo ef eu cadw yn guddiedig, a chael o honynt eu cynnal ganddo ef. Ond Elias a barodd iddo nad ofnai ddim, ond myned at y brenin; gan sicrhau iddo trwy lw, yr ymddangosai yn ddiau i Ahab y dydd hwnnw.

Felly ar ol i Obadiah wneud y brenin yn hyspys fod Elias gerllaw, Ahab a'i cyfarfyddodd ef, ac a ofynnodd iddo mewn digter, "Ai efe ydoedd yr un oedd yn blino pobl yr Hebreaid; ac ydoedd yn achos o'r sychdwr yr oeddynt yn gorwedd tano?" Ond Elias, heb ddim gweniaith, a ddywedodd, mai Ahab ei hunan oedd y gwr, ynghyd â'i dŷ, a ddygasai y fath drallod arnynt; a hynny trwy ddwyn i mewn dduwiau dieithr i'w mysg, a'u haddoli hwynt; a chan esgeuluso yr eiddo eu hunain, yr hwn oedd yr unig wir Dduw, heb fod ganddynt un radd o barch iddo ef. Pa fodd bynnag, efe a barodd iddo fyned i'w ffordd, a chasglu ynghyd yr holl bobl i fynydd Carmel, gyd â'i brophwydi ei hun, a'r eiddo ei wraig; gan ddywedyd wrtho pa gynnifer oeddynt, megis hefyd prophwydi y llwyni, ynghylch pedwar cant mewn nifer. Ac fel yr oedd yr holl bobl a anfonodd Ahab am danynt yn prysuro i fyned ymaith tu a'r mynydd rhagddywededig, y prophwyd Elias a safodd yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd, "Pa hyd y byddwch fyw fel hyn mewn ansicrwydd meddyliau a dychymmygion?" Efe hefyd a'u cynghorodd, os oeddynt yn cyfrif eu Duw eu hunain yn wir ac yn unig Dduw, ar iddynt ei ganlyn ef a'i orchymmynion; ond os oeddynt yn ei gyfrif yn ddim, a chanddynt well tŷb am dduwiau dieithr, a'u bod yn ddyledus i'w haddoli, ei gyngor ydoedd am iddynt eu dilyn hwynt. A phan na wnaeth y llïaws un attebiad i'r hyn a ddywedodd efe, dymunodd Elias brofi awdurdod y duwiau dieithr, ac o'u Duw hwythau; efe, yr hwn oedd ei unig brophwyd, tra 'r oedd ganddynt hwy bedwar cant, a gymmerai anner, ac a'i lladdai yn aberth, ac a'i gosodai ar goed, heb gynneu tân o danynt; a bod iddynt hwy wneuthur yr un peth, a galw ar eu duwiau eu hunain, i osod y coed i gynneu heb ddodi tân danynt: † canys os gwnaed hynny, hwy a ddysgent oddi yno wybod natur y gwir Dduw. Y cynnygiad hwn a foddlonodd y bobl. Felly Elias a barodd i'r prophwydi ddewis eu hanner yn gyntaf, a'i lladd; a galw ar eu duwiau. Ond pan nad ymddangosodd dim effaith o'u gweddiau, nac attebiad i erfyniadau 'r prophwydi mewn perthynas i'w haberth, Elias a'u gwawdiodd hwynt, ac a barodd iddynt alw ar eu duwiau â llais uchel; oblegid y gallent fod ar eu taith, neu yn cysgu. Ac wedi i'r prophwydi

* 1 Bren. xviii. 4.

† Dyma 'r ffordd hynafiaethol yr oedd Duw yn tystio ei foddlonrwydd i'r aberthau, gwel Gen. xv, 17.

hyn wneuthur felly o'r boreu hyd ganol dydd, a thorri eu hunain * â chleddyfau ac â ffleimiau, yn ol arfer eu gwlad; a phan oedd Elias ynghylch offrymmu ei aberthau, efe a barodd i'r prophwydi fyned ymaith; ond a ddymunodd i'r bobl neshau atto, a chymmeryd sulw o'r hyn a wnelai, rhag iddo ef mewn modd dirgel guddio tân ym mysg y darnau coed. Felly ar agoshâd y dyrfa, efe a gymmerodd ddeuddeg o gerrig, un am bob llwyth o bobl yr Hebreaid; ac a adeiladodd allor â hwynt, ac a dorrodd ffos ddofn o amgylch. Ac wedi iddo osod y darnau coed ar yr allor, a gosod darnau yr aberth arnynt, efe a orchymmynodd lenwi pedwar celwrn o ddwfr y ffynnon oedd gerllaw, a'u tywallt hwynt ar yr allor, nes iddo redeg trosti, ac nes llenwi'r ffos â'r dwfr a dywalltid iddi. Wedi iddo wneuthur hyn, efe a ddechreuodd weddio ar Dduw, ac erfyn am iddo egluro ei allu i bobl ag oedd er's hir amser tan gyfeiliornad. Wrth ba ryw eiriau disgynnodd tân yn ddisymmwth o'r nefoedd, yngolwg y lliaws, ac a syrthiodd ar yr allor, ac a yssodd yr aberth, gan ddifa y dwfr, nes sychu yr holl le o amgylch.

Yn awr, pan welodd yr Israeliaid hyn hwy a syrthiasant ar y ddaear, gan addoli un Duw, a'i alw yn unig Fawrhydi, ac yn unig wir Dduw: ond hwy a alwasant y duwiau eraill yn unig yn enwau, wedi eu ffurfio trwy wag ddychymmygion dynion: felly hwy a ddaliasant eu prophwydi; ac, wrth orchymmyn Elias, a'u lladdasant hwy. Elias hefyd a ddywedodd wrth y brenin y gallai efe fyned at ei giniaw, heb ofalu dim ymhellach; oblegid mewn byrr amser yr anfonai Duw wlaw iddynt. Yn ganlynol Ahab a aeth i'w ffordd; ond Elias a aeth i fynu i ben uchaf mynydd Carmel, ac a roddodd bwys ei ben ar ei liniau: gan beri i'w was fyned i fynu i uchelfa, ac edrych tu a'r môr: a phan welai gwmmwl yn cyfodi o unrhyw gwrr, fynegi o hono iddo ef am hynny, canys hyd y pryd hwnnw yr oedd yr awyr yn aros yn glir. Wedi i'r gwas fyned o'r neilldu, a dyfod amryw weithiau i ddywedyd nad oedd yn gweled dim; ar y seithfed tro o'i fynediad, efe a ddywedodd, ei fod yn gweled rhyw beth du bychan yn yr wybr, heb fod yn fwy na throed dyn. Pan glywodd Elias hynny, efe a anfonodd at Ahab, ac a archodd iddo fyned ymaith i'r ddinas, cyn ei rwystro gan wlaw. Felly efe a ddaeth i ddinas Jezreel. Ac ym mhen ychydig amser yr awyr a dywyllodd, ac a orchuddiwyd â chymmylau, a gwynt nerthol a chwythodd ar y ddaear, a chyd ag ef lawer o wlaw: a'r prophwyd oedd yn y fath danbeidrwydd dwyfol, fel y cydredodd â cherbyd y brenin hyd yn Jezreel, dinas o Izar.†

Pan ddeallodd Jezebel, gwraig Ahab, yr arwyddion a wnaethai Elias, a'r modd y lladdesid y prophwydi, yr ydoedd mewn digter, ac a ddanfonodd negeseuwyr atto, a thrwyddynt a fygythiodd ei ladd ef, fel y lladdasai yntau ei phrophwydi. Wrth hyn Elias a ddychrynodd, ac a ffodd i ddinas a elwid Beersheba; yr hon sydd a'i sefyllfa yn nherfyn eithaf y wlad a berthyn i lwyth Judah, tu a gwlad Edom. Ac yno y gadawodd ei was, ac a aeth ymaith ei hun i'r diffeithwch. ‡ Gweddiodd yno hefyd am gael marw, am nad oedd yn well ei amgylchiad na'i dadau; ac am hynny nad oedd yn beth dymunol iddo ef gael byw pan oeddynt hwy wedi meirw; ac efe a orweddodd ac a gysgodd tan ryw bren. Ac wedi i ryw un ei ddihuno ef, ac iddo gyfodi i fynu, efe a gafodd fod bwyd a dwfr wedi ei ddodi gerllaw iddo. Felly pan fwyttaodd, a chael adferyd ei nerth trwy 'r ymborth hwnnw, efe a ddaeth i'r mynydd hwnnw a elwid Sinai; ym mha le y dywedir ddarfod i Moses dderbyn y gyfraith gan Dduw. Ac wedi cael yno ryw ogof wag, efe aeth i mewn iddi, ac a barhaodd i wneuthur ei drigfan ynddi. Ond wedi dyfod rhyw lais atto ef, a gofyn, "Paham y daethai yno, gan ymadael â'r ddinas?" Dywedodd mai o herwydd iddo ladd prophwydi y duwiau dieithr, a pherswadio o hono y bobl mai efe yn unig, yr hwn oeddynt yn ei addoli o'r dechreuad

* Mr. Spanheim sydd yn sylwi yma, mai wrth addoli Mithra, duw y Persiaid, fod yr offeiriaid yn arferol o dorri eu hunain yn yr un dull ag yr oedd yr offeiriaid hyn ar eu herfyniadau at Baal, duw y Phoeniciaid

† Am Izar, gallwn ddarllen yma, gyd â Hudson a Coccelus, Izachar, h. y. Llwyth Izachar, canys i'r llwyth hwnnw yr oedd Jezreel yn perthynu: ac yn fuan, pen. xv. gallem ddarllen am Izar, gyd â yn agos un copi 'sgrifenedig, a'r ysgrythyr, Jezreel; canys hono oedd y ddinas a feddylir yn hanes Naboth.

‡ 1 Bren. xix. 3, 4.

ydoedd Dduw, ddarfod ymofyn am dano gan wraig y brenin i'w gospi am wneuthur hynny. A phan glybu lais arall yn dywedyd wrtho am ddyfod allan tan yr awyr y dydd nesaf, ac wrth hynny y cai wybod beth ydoedd i'w wneuthur, efe a ddaeth allan o'r ogof yn ganlynol y dydd nesaf. Yna efe a glybu ddaear gryn, ac a welodd lewyrchiad goleu-dân; ac ar ol distawrwydd, llais dwyfol yn ei annog i beidio digalonni oblegid yr amgylchiadau yr ydoedd ynddynt; am na chai neb o'i elynion awdurdod arno ef. Y llais hefyd a orchymmynodd iddo ddychwelyd adref, ac ordeinio Jehu, mab Nimshi, i fod yn frenin ar eu llïaws eu hunain: a Hazael o Ddamascus, i fod ar y Syriaid; ac Eliseus o ddinas Abel i fod yn brophwyd yn ei le ef: ac y byddai i rai o'r llïaws annuwiol gael eu lladd gan Hazael, ac eraill gan Jehu. Felly Elias wedi clywed hyn, a ddychwelodd i wlad yr Hebreaid. A phan gafodd efe Eliseus, fab Shaphat, yn aredig, ac eraill gyd ag ef, â deuddeg iau o ychain, efe a ddaeth atto, ac a fwriodd ei wisg ei hun arno ef. Ar hynny Eliseus a ddechreuodd brophwydo, a chan adael ei ychain, efe a'i canlynodd ef. A phan ddeisyfodd gennad i gyfarch ei rïeni cyn ei ymadawiad, Elias a ganiattaodd hynny iddo; ac wedi ymadael â hwynt, efe a'i canlynodd ef, ac a ddaeth yn ddisgybl ac yn wasanaethydd i Elias holl ddyddiau ei fywyd. Ac fel hyn yr adroddais yr amgylchiadau oedd berthynasol i'r prophwyd hwn.

Yn awr* yr oedd un Naboth o'r ddinas Izar, yr hwn oedd ganddo faes yn gyssylltedig â'r eiddo'r brenin. Y brenin a fynnai ei berswadio i werthu iddo ef y maes hwnnw ag oedd yn gorwedd mor agos i'w diroedd ei hun, am y pris a welai yn dda, fel y byddai iddo eu cyssylltu ynghyd, a'u gwneuthur yn un tyddyn: ac os na dderbyniai arian am dano, efe a ganiattäi iddo ddewis rhai o'i faesydd eraill ef yn ei le. Ond Naboth a ddywedodd na's gwnai felly, ond a gadwai feddiant o'r tir hwnnw iddo ei hun, yr hwn a gawsai yn etifeddiaeth oddiwrth ei dad. Ar hyn y brenin a dristäodd fel pe buasai wedi cael niweid, pan na allodd gael etfeddiaeth gwr arall; ac nid ymolchai ei hun, na chymmeryd lluniaeth. A phan ofynnodd Jezebel iddo, beth oedd yr hyn a'i gofidiodd ef; a phaham nad ymolchai, ac na fwyttäi? Yntau a adroddodd iddi am gyndynrwydd Naboth; a pha fodd, pan arferodd eiriau teg wrtho, a'r hyn ag oedd islaw yr awdurdod frenhinol, iddo ei atteb yn ammharchus, ac na chawsai yr hyn a ddymunodd. Pa fodd bynnag hi a'i perswadiodd ef i beidio tristau yn ormodol wrth y ddamwain hon; ond i adael heibio ei ofid, ac i ddychwelyd at ei ofal arferol am ei gorph; canys hi a gymmerai yn llaw gospi Naboth. Felly hi yn union gyrch a ddanfonodd lythyrau at lywodraethwyr y Jezreeliaid, yn enw Ahab; gan orchymmyn iddynt ymprydio, a chasglu cynnulleidfa, a gosod Naboth uwch eu pennau, o herwydd ei fod o deulu anrhydeddus; a cheisio tri o ddynion hyfedr i ddwyn tystiolaeth ddarfod iddo gablu Duw a'r brenin; ac yna ei labyddio a'i ladd yn y modd hwnnw. Yn ganlynol, wedi i Naboth fel hyn gael ei gyhuddo, efe a labyddiwyd gan y llïaws, ac a fu farw. Wedi i Jezebel glywed am hynny, hi a aeth at y brenin, ac a archodd iddo gymmeryd meddiant o winllan Naboth yn ddi draul.

Felly Ahab a fu dda ganddo am yr hyn a wnaethid; ac a gyfododd i fynu yn ddioed oddi ar y gwely yn yr hwn y gorweddai, i fyned i edrych gwinllan Naboth: ond yr oedd Duw yn dra digllon o'i herwydd, ac a ddanfonodd Elias y prophwyd i faes Naboth, i lefaru wrth Ahab, a dywedyd wrtho, ddarfod iddo ladd gwir berchennog y maes hwnnw yn anghyfiawn. A chyn gynted ag y daeth atto, ac i'r brenin ddywedyd y gallai wneud ag ef fel y mynnai, (canys yr ydoedd yn ei gyfrif yn waradwydd iddo gael ei ddal fel hyn yn ei bechod;) dywedodd Elias, mai yn yr un lle ag y bwyttawyd corph marw Naboth gan gŵn, y tywalltid ei waed ef, a gwaed ei wraig yn yr un modd, ac y difethid ei holl deulu, o herwydd ei fod mor hynod ddrygionus a lladd o hono ddinesydd, yn anghyfiawn ac yn wrthwyneb i gyfreithiau ei wlad.

Ar hyn Ahab a ddechreuodd fod yn ddrwg

* Ynghylch Bl. 899.

ganddo y pethau a wnaethai, ac edifarhau o'u herwydd; ac efe a ymwisgodd â sachl'iain, ac a gerddodd yn droednoeth,* ac ni chyffyrddai â dim bwyd: efe hefyd a gyfaddefodd ei bechodau, ac a geisiodd y modd hwn ymheddychu â Duw. Ond dywedodd Duw wrth y prophwyd, tra y byddai Ahab byw y gosodai heibio gospedigaeth ei deulu; o herwydd edifarhau o hono am y camweddau echryslon a fuasai yn euog o honynt: ond y cyflawnid ei fygythion er hynny tan deyrnasiad ei fab,† a'r gennadwri yma a draethodd y prophwydi i'r brenin.

## PENNOD XIV.

*Am Ymgyrch Hadad, brenin Damascus a Syria, yn erbyn Ahab.*

PAN oedd amgylchiadau Ahab yn y sefyllfa yma, mab Benhadad, yr hwn oedd frenin Damascus a'r Syriaid, a gasglodd fyddin ynghyd trwy ei holl wlad; ac a gafodd ddeuddeg ar hugain o frenhinoedd tu hwnt i Euphrates i fod yn gynnorthwywyr iddo. Felly efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Ahab. Ond o herwydd nad oedd byddin Ahab yn cyfatteb i'r eiddo Benhadad, ni osododd hi mewn trefn i ymladd. Ond wedi caead i fynu bob peth o werth ag oedd yn y wlad yn y dinasoedd cadarnaf oedd ganddo, efe a arhosodd ei hun yn Samaria; canys y muriau o'i hamgylch oedd dra chedyrn; ac nid oedd, ar ystyriaethau eraill, yn ymddangos yn hawdd i'w chymmeryd. Felly brenin Syria a gymmerodd ei fyddin gyd ag ef, ac a ddaeth i Samaria, gan osod ei fyddin o amgylch-ogylch i'r ddinas, a gwarchae arni. Efe hefyd a ddanfonodd gennadwr at Ahab, gan ddymuno arno dderbyn y cennadwyr a ddanfonai atto, trwy y rhai y gwybyddai ei feddwl. Felly ar gydsyniad brenin Israel i hynny, y cennadwyr hynny a ddaethant, ac wrth orchymmyn eu brenin a lefarasant fel hyn: Fod cyfoeth Ahab, a'i blant, a'i wragedd yn eiddo Benhadad: ac os gwnai ag ef gyttundeb, a rhoddi cennad iddo gymmeryd cymmaint ag a welai yn dda o'r hyn oedd ganddo, efe a dynnai ei fyddin ymaith, ac a adawai heibio y cynllwyn. Ar hyn Ahab a barodd i'r cennadwyr fyned yn ol, a dywedyd wrth eu brenin, ei fod ef ei hun a'r hyn oll oedd ganddo yn meddiant eu brenin. Ac wedi i'r cennadwyr ddywedyd hyn i Benhadad, efe a ddanfonodd atto drachefn, gan arwyddo, mai fel yr oedd yn cyffesu fod yr hyn oll oedd ganddo yn eiddo ef, fod iddo ganiattau derbyniad i'r gweision hynny a ddanfonai atto y dydd nesaf: ac efe a orchymmynodd draddodi i'r rhai a ddanfonai ef, pa ryw beth bynnag, wrth chwilio ei balas, a thai ei bendefigion, a'i garennydd, a welent yn ei ryw yn ddefnyddiol; ond y gadawent yr hyn ni byddai yn eu boddio yn ol iddo ef. Wrth yr ail gennadwri hon, Ahab a ryfeddodd, ac a alwodd ynghyd y llïaws yn un gynnulleidfa, ac a ddywedodd, "Am danaf fy hun, yr wyf yn barod, er mwyn eich heddwch a'ch diogelwch chwi, i roddi i fynu fy ngwragedd a'm plant i'r gelyn, a gadael iddo gael fy meddiannau fy hun, canys hynny a ofynnodd y brenin Syriaidd ar ei gais cyntaf: ond yn awr y mae 'n ewyllysio anfon ei weision i chwilio eich holl dai chwithau, ac i adael dim ynddynt ag sy 'n odiaethol yn ei ryw; gan geisio trwy hynny achlysur i ymladd i'm herbyn; gan wybod na fyddai i mi arbed yr hyn a fyddai'r eiddo fy hun er eich mwyn chwi; ond efe a gymmer esgus oddiwrth ammodau afresymmol a grybwylla ymherthynas i chwi, i ddwyn rhyfel arnom. Pa fodd bynnag, myfi a wnaf yr hyn a farnoch chwi yn gymmwys i'w wneuthur."

Ar hyn y llïaws a'i cynghorasant i ballu gwrando ar ddim o gynnygiadau Benhadad, ond eu diystyru hwynt, a bod yn barod i ymladd. Yn ganlynol efe a anfonodd ymaith y cennadwyr â'r attebiad hwn; ei fod yn parhau yr un yn ei feddwl i gydsynio â'r ammodau a ofynwyd gyntaf gan eu meistr, er diogelwch ei ddinasyddion; ond am ei ail ofyniadau ni allai efe ymostwng iddynt.

* "Y mae'r Iuddewon yn wylofain hyd heddyw," medd Jerom a goffeir yma gan Reland, "ac yn amgylchu eu hunain â sachliain, ac â lludw ar eu pennau, yn droednoeth, ar y cyfryw achosion." At yr hyn y mae Spanheim yn chwanegu, "Mai yn yr un dull Berenice pan oedd ei fywyd mewn perygl, a safodd o flaen gorseddfainge Fflorus yn droednoeth." Am y Rhyf. II. 15. Gwel y cyffelyb am Dafydd, 2 Sam. xv. 30. Hynaf. VII.

† 1 Bren. xxi. 29.

Pan glybu Benhadad hyn, yr ydoedd yn ddigllon, ac a ddanfonodd gennadwyr y trydydd tro; gan fygwth y cyfodai ei fyddin wrthglawdd uwch na'r muriau, mewn hyder ar gadernid y rhai yr oedd Ahab yn ei ddirmygu; a hynny trwy i bob un neillduol o'i fyddin gymmeryd llonaid ei law o bridd; gan ddangos trwy hyn nifeiri ei luoedd, a cheisio ei ddychrynu ef. Ahab, pa fodd bynnag, a attebodd, na ddylai ymffrostio ei hun wedi dodi ei arfogaeth am dano, ond wedi iddo fuddugoliaethu ar ei elynion mewn brwydr.* Felly y cennadwyr a ddaethant yn ol, ac a gawsant Benhadad yn gwledda gyd â'r deuddeg brenin ar hugain; ac a'u gwnaethant yn hyspys o attebiad Ahab; mewn canlyniad i'r hyn efe yn union-gyrch a roddes orchymmyn i'r lluoedd amgylchynu 'r ddinas, a chyfodi gwrthglawdd i'w herbyn; ac i fyned ym mlaen a'r gwarchae ym mhob dull a modd. Yn awr, fel yr oedd hyn yn cael ei wneuthur, yr oedd Ahab mewn ing mawr, a'i holl bobl gyd ag ef; ond efe a ymgefnogodd, a fe 'i rhyddhawyd o'i ofnau, wedi i ryw brophwyd ddyfod atto, a dywedyd, fod Duw wedi addaw darostwng cynnifer o'i elynion tano. A phan ofynnodd trwy ba foddion yr oedd y fuddugoliaeth i'w chael; efe a ddywedodd, "Trwy feibion y tywysogion, ond tan dy dywysiad ti fel eu blaenor, oblegid eu haufedrusrwydd mewn rhyfel." Ar hyn efe a alwodd feibion y tywysogion, ac a'u cafodd yn ddau cant a deuddeg ar hugain o bersonau. Ac wedi hyspysu iddo fod brenin Syria wedi myned i wledda ac i gymmeryd ei esmwythder, efe a agorodd y pyrth, ac a anfonodd allan feibion y tywysogion. Yn awr wedi i'r gwylwyr fynegi i Benhadad, efe a anfonodd rai i'w cyfarfod hwynt, gan orchymmyn os oedd y dynion hynny yn dyfod allan i ymladd, fod iddynt eu rhwymo a'u dwyn atto ef; neu os oeddynt yn dyfod allan yn heddychlon, fod iddynt wneud yr un modd. Yn awr yr oedd gan Ahab fyddin arall yn barod o fewn i'r muriau. Ond meibion y tywysogion a gwympasant ar y gwylwyr nesaf allan i'r Syriaid, ac a laddasant amryw o honynt, gan erlid y gweddill yn ol hyd at y gwersyll. A phan welodd brenin Israel gael o'r rhai hyn y llaw uchaf arnynt, efe a anfonodd allan holl weddill y fyddin; y rhai wedi syrthio yn ddisymmwth ar y Syriaid, a'u curasant hwynt; canys nid oeddynt tan ddisgwyliad am eu dyfodiad allan. Ar ba gyfrif y bu iddynt ddyfod ar eu gwarthaf pan oeddynt yn noethion,† ac yn feddw; yn gymmaint ag iddynt adael eu holl arfogaeth ar ol pan ffoisant allan o'r gwersyll; a'r brenin ei hunan a ddiangodd gyd ag anhawsdra, trwy ffoi ymaith ar farch. Ond Ahab a aeth ym mhell o ffordd i erlid y Syriaid; ac wedi iddo yspeilio eu gwersyll, ag oedd yn cynnwys llawer o gyfoeth, a mesur mawr o aur ac arian, efe a gafodd hefyd gerbyd Benhadad a'i feirch, ac a ddychwelodd i'r ddinas. Ond fel y dywedodd y prophwyd wrtho y dylai fod a'i fyddin yn barod, o herwydd y byddai i frenin Syria wneud ymgyrch arall i'w erbyn y flwyddyn nesaf, Ahab ydoedd brysur yn gwneud parottoad tu ag atti yn ganlynol.

Wedi i Benhadad ‡ achub ei hun, a chynnifer o'i fyddin ac a allodd o'r frwydr; efe a ymgynghorodd â'i gymdeithion pa fodd y gwnai ymgyrch arall yn erbyn yr Israeliaid. Yna ei gymdeithion hynny a'i cyngorasant, nad ymladdai â hwynt yn y mynyddau, o herwydd galluogrwydd eu Duw yn y fath leoedd, ac oblegid hynny y daeth fod iddynt yn ddiweddar

* 1 Bren. xx. 11.

† Y mae Reland yn sylwi yn gywir yma am y gair noeth, nad ydyw bob amser yn arwyddo hollawl noethni; ond weithiau ddynion heb eu harferol arfogaeth, heb eu harwisg neu wisgoedd uchaf. Megis y mae Virgil yn annog y llafurwr i aredig a hau yn noeth. Pan ddywed Josephus, IV. 3, i Dduw roddi i'r Iuddewon ddiogelwch arfau pan oeddynt yn noethion; a phan ddywed yma ddarfod i Ahab syrthio ar y Syriaid pan oeddynt noethion ac yn feddw. Pan yn XI. 5, y mae yn dywedyd, i Nehemiah orchymmyn i'r Iuddewon hynny ag oedd yn adeiladu muriau Jerusalem, i gymmeryd gofal i fod a'u harfau am danynt yn achlysurol, fel na byddai i'r gelyn syrthio arnynt yn noeth. Gallaf chwanegu, fod yr ystyr yr un yn yr ysgrythur, pan ddywed, i Saul orwedd i lawr yn noeth ym mysg y prophwydi, 1 Sam. xix. 24. Pan y mae 'n dywedyd i Esaia rodio yn noeth ac heb esgidiau, pen. xx. 2, 3; a phan ddywed am Pedr, cyn gwregysu ei amwisg, mai noeth oedd efe. Ac nid oedd y milwyr noethion yn amgen na levis armaturæ, y rhai oeddynt rydd oddiwrth drom arfogaeth eraill. A'i cyffelyb a ellir ei gasglu oddiwrth amryw leoedd eraill. Y peth a ddywedir am Dafydd hefyd sy'n rhoi goleu i hyn, yr hwn a waradwyddwyd gan Michal am ddawnsio o flaen yr arch, ac ymddiosg ei hun yngolwg ei law-forwynion, ac ymnoethi fel un o'r ynfydion, 2 Sam. vi. 14, 20, etto fe ddywedir yn eglur yno, adn. 14, fod Dafydd wedi ei wregysu ag ephod liain, h. y. efe a adawsai o'r neilldu ei wisg frenhinol, ac a roddodd am dano yn unig yr offeiriadol, neu gyssegredig wisgoedd, cymmwys ar y fath achos arbennig. Gwel hefyd Hynaf. V. 2. XVII. 10.

‡ Ynghylch Bl. 898.

gael eu gorchfygu. Ond dywedasant, os ymgyssylltent mewn brwydr â hwynt yn y gwastadedd, y byddai iddynt hwy eu trechu. Rhoddasant iddo hefyd y cyngor hwn yn rhagor, sef, i anfon adref y brenhinoedd hynny yr hwn a ddygasai gyd ag ef yn gynnorthwywyr; a gosod cadbeniaid arnynt yn lle 'r brenhinoedd; a chyfodi byddin o'i wlad ei hun, yn lle y rhai cyntaf a laddwyd yn y frwydr, ynghyd â meirch a cherbydau. Felly efe a farnodd eu cyngor yn dda, ac a wnaeth yn gyttunol â'r unrhyw yn nhrefniad nesaf ei fyddin.

Yn nechreu 'r gwanwyn Benhadad a gymmerodd ei fyddin gyd ag ef, ac a'i harweiniodd yn erbyn yr Hebreaid. A phan ddaeth i ryw ddinas a elwid Aphec, efe a sefydlodd ei wersyllfa yn y prif wastadedd. Ahab hefyd a aeth i'w gyfarfod â'i fyddin yntau, ac a wersyllodd gyferbyn â hwynt, er nad oedd ei fyddin ond tra bychan, pan gydmarid hi â'r gelynion. Ond y prophwyd a ddaeth atto drachefn, ac a ddywedodd wrtho, y trefnai Duw iddo fuddugoliaeth, fel yr amlygai ei allu, ei fod nid yn unig ar y bryniau, ond ar y gwastadedd hefyd: yr ymddangosai yn wrthwyneb i dŷb y Syriaid. Felly hwy a arosasant yn llonydd yn eu gwersylloedd saith o ddiwrnodiau. Ond ar y diweddaf o'r dyddiau hynny, pan ddaeth y gelynion allan, ac yr ymosodasant eu hunain mewn trefn i ymladd; Ahab hefyd a ddygodd allan ei fyddin; ac wedi ymgyssylltu o'r frwydr, ac ymladd o honynt yn galonnog, efe a ddododd y gelyn i ffoi, ac a'u herlidiodd hwynt, gan wasgu yn drwm arnynt, a'u lladd hwynt. Ië, hwy a ddinystriwyd gan eu cerbydau, a chan eu gilydd hefyd. A'r ychydig a ddiangodd i'w dinas eu hun Aphec, a laddwyd hefyd trwy i'r muriau syrthio arnynt, a hwy mewn rhifedi yn saith ar hugain o filoedd.* Yn awr fe laddwyd yn y frwydr yma gan mil yn rhagor. Ond Benhadad, brenin y Syriaid, a ffodd ymaith, a rhai eraill o'i weision mwyaf ffyddlon gyd ag ef, ac a ymguddiodd ei hun mewn dirgel-le tan y ddaear. Ac wedi i'r rhai hynny ddywedyd wrtho am frenhinoedd Israel, eu bod o dymmer dirion a thrugarog; ac y gallent hwy ddefnyddio y ffordd arferol o ymbil neu ymhwedd am arbediad eu bywydau gan Ahab, os caniattai iddynt ddyfodiad atto; yr hwn a roddes ryddid iddynt i ddyfod ger ei fron yn ganlynol. Felly hwy a ddaethant at Ahab, wedi ymwisgo â sachïain, a rhaffau † am eu pennau; canys hon oedd y ffordd a arferid gynt o ymbilio ym mysg y Syriaid: a dywedasant fod Benhadad yn deisyf iddo ei arbed ef, ac y byddai efe yn was iddo oblegid y ffafr honno. Ahab a attebodd fod yn dda ganddo ei fod ef yn fyw, ac heb ei niweidio yn y frwydr. Ac efe ymhellach a addawodd iddo yr un anrhydedd a chymmwynasgarwch ag a ddangosai gwr i'w frawd. Felly hwy a gawsant sicrwydd trwy lw ganddo, mai pan ddeuai atto na dderbyniai ddim niweid; ac hwy a aethant ac a'i dygasant o'r daeardy ym mha un yr ymguddiasai, i ymddangos i Ahab, yr hwn oedd yn eistedd yn ei gerbyd: felly Benhadad a ymgrymmodd iddo ef. Ac Ahab a roddes iddo ei law, ac a wnaeth iddo ddyfod i fynu atto ef i'w gerbyd, ac a'i cusanodd, ac a barodd iddo fod yn gyssurus, a pheidio meddwl am ddim niweid a ddigwyddai iddo. Felly Benhadad a ddychwelodd ddiolch iddo, ac a gyffesodd y y cofiai ei garedigrwydd holl ddyddiau ei fywyd; ac a addawodd adferyd y dinasoedd perthynol i'r Israeliaid, ag a gymmerasai y brenhinoedd o'r blaen ganddynt; ac a addefodd fod iddo ef ryddid i ddyfod i Damascus, fel y daethai ei

*Rhifedi Josephus, dau fyrddiwn a saith mil, sy 'n cyttuno yma â'r un hynny yn ein copiau eraill; megis y rhai hynny a laddwyd pan syrthiodd i lawr furiau Aphec. Ond mi amheuais yn y dechreu am y nifer yma ynghopiau presennol Josephus, na allent fod yr un a'i nifer dechreuol, am ei fod yn eu galw hwynt ychydig; yr hyn ni ellid ond yn anhawdd ei ddywedyd am gynnifer a 27,000: ac o herwydd yr annhebygolrwydd i syrthiad mur i lawr ladd cynnifer. Etto pan ystyriwyf eiriau nesaf Josephus, pa fodd yr oedd gweddill y rhai a laddwyd yn y frwydr yn ddeg myrddiwn yn rhagor, nid yw y 27,000 hwnnw ond ychydig mewn cydmariaeth i 100,000, ac mai nid mur ydoedd fel y mae 'n cyfieithiad Cymraeg a Saesnaeg yn crybwyll, ond holl furiau y ddinas a a syrthiodd i lawr, megis yn yr ieithoedd gwreiddiol, yr wyf yn gadael o'r neilldu 'r amheuaeth hwnnw; ac yn credu yn gadarn ddarfod i Josephus ei hun, gyd â'r lleill, adrodd i ni y gwir nifer o 27,000. Yr Aphec yma a iawn elwir gan Josephus yn ddinas y Syriaid; megis ysgatfydd fod un o honynt ag y mae ein Bibl ni, a Josephus yn llefaru am dani rhagllaw; a'r hon a gymmerasai rhagflaenor y Benhadad yma oddi ar yr Israeliaid, ac a ydoedd yn awr i'w hadferyd.

† Y dull hwn o ymbil am arbediad bywydau dynion ym mysg y Syriaid, â rhaffau neu gebystrau am eu pennau neu eu gyddfau, nid yw, fel y tebygaf, beth dieithr mewn oesoedd diweddarach, ie, yn ein gwlad ein hunain.

dadau gynt i Samaria. Felly hwy a gadarnhasant eu cyfammodau trwy lw; ac Ahab a roes lawer o aurhegion iddo, ac a'i hanfonodd yn ol i'w deyrnas ei hun. A hyn a fu ddiwedd y rhyfel a wnaeth Benhadad yn erbyn Ahab a'r Israeliaid.

Eithr rhyw brophwyd a'i enw Micaiah, * a ddaeth at un o'r Israeliaid, ac a barodd iddo ei daro ar ei ben; canys wrth wneuthur hynny efe a wnai wrth fodd Duw: ond gan nas gwnaeth efe, rhagfynegodd iddo, mai o herwydd iddo anufuddhau i orchymmyn Duw, y cyfarfyddai â llew, ac y difethid ef ganddo. Wedi i'r ddamwain ddychrynllyd honno gyfarfod â'r dyn, y prophwyd a ddaeth drachefn at un arall, ac a roddes iddo yr un gorchymmyn; felly efe a'i tarawodd, ac a archollodd ei ben: ar yr hyn y rhwymodd ef i fynu, ac a ddaeth at y brenin, ac a ddywedodd wrtho ei fod yn un o'i filwyr, ac a wyliasai un o'r carcharorion a roddasid gan swyddog o'r fyddin tan ei ofal ef; a chan fod y carcharor wedi diangc ymaith, yr ydoedd mewn perygl am ei fywyd ei hun gan y swyddog hwnnw; yr hwn a'i bygythiasai, os diangai y carcharor y lleddid ef. A phan ddywedodd Ahab y byddai farw yn gyfiawn; yntau a dynnodd ymaith y rhwym oddi am ei ben, ac a adnabuwyd gan y brenin mai Micaiah y prophwyd ydoedd; yr hwn a ddefnyddiodd y ddyfais hon fel rhagflaeniad o'i ymadroddion canlynol: canys efe a ddywedodd y byddai i Dduw ei gospi ef, yr hwn a adawsai i Benhadad, ei gablwr ef, ddiangc rhag cospedigaeth: ac y dygai y peth felly o amgylch, fel y byddai farw trwy 'r gelynion hynny, a'i bobl a orchfygid gan eu lluoedd hwynt.† Ahab o herwydd hyn ydoedd dra digllon wrth y prophwyd, ac a roddes orchymmyn i'w roddi yngharchar, a'i gadw yno. Ond am danoei hun, yr ydoedd mewn terfysg wrth eiriau Micaiah, ac a ddychwelodd i'w dŷ. ‡

## PENNOD XV.

*Am Jehosaphat, brenin Jerusalem; hefyd am Ymgyrch Ahab yn erbyn y Syriaid, ei Orchfygiad a'i Farwolaeth.*

YR wyf yn awr yn dychwelyd at Jehosaphat, brenin Jerusalem, yr hwn a gynnyrchodd ei deyrnas, § ac a osododd wersylloedd yn ninasoedd gwledig a berthynent i'w ddeiliaid; ac heb ddodi dim llai gwersylloedd yn y dinasoedd hynny a gymmerwyd allan o lwyth Ephraim, gan ei daid Abijah, pan oedd Jeroboam yn teyrnasu ar y deg llwyth, nag a ddodasai yn y lleill. Ond yr oedd ganddo Dduw yn ffafrol ac yn gynnorthwyol iddo, megis ei fod yn gyfiawn ac ac yn grefyddol, ac yn ymofyn am wneuthur rhyw beth bob dydd a fyddai 'n gydunol ac yn dderbyniol gan Dduw. Y brenhinoedd cymmydogaethol hefyd a'i haurhydeddent ef â'u hanrhegion, nes i'r cyfoeth a ynnillodd efe fyned yn anneirif fawr, a'r clod a gawsai fod o natur fwyaf derchafedig.

Yn awr, yn y drydedd flwyddyn o'i deyrnasiad, efe a alwodd ynghyd lywodraethwyr ei wlad, a'r offeiriaid; gan orchymmyn iddynt fyned o amgylch y tir, a dysgu i'r holl bobl tano ef, ddinas ar ol dinas, gyfreithiau Moses; ac hefyd eu cadw hwynt, a bod yn ddyfal yn addoliad Duw. A hyn yr oedd yr holl liaws yn cydsynio, ac yn boddloni, am na osodid arnynt am ddim yn fwy na sylwi yn fanwl ar

* Y mae'n dra hynod yma am y prophwyd hwn, mynegiad pa un am laddiad dyn anufudd gan lew, a ddigwyddasai yn ddiweddar, yn ol copi Josephus, nad ydoedd amgen na Micaiah, mab Imlah; yr hwn fel yr oedd yn awr yn datgan barn Duw ar Ahab anufudd, a ymddengys ei fod yr un prophwyd yn gymmwys, ac y mae 'r unrhyw Ahab yn 1 Bren. xxii. 8---18, yn achwyn arno megis un ag oedd efe yn ei gashau, o herwydd na phrophwydai iddo ef ddaioni, namyn drygioni; a'r hwn yn y bennod honno sy 'n ail adrodd yn gyhoeddus ei gyhuddiadau i'w erbyn; yr hyn yn ganlynol a ddaeth i gyd i ben. Ac nid oes reswm i ammeu nad hwn a'r un blaenorol ydoedd yn wir yr un prophwyd; gan fod yr Iuddewon gynt yn cyttuno yn hyn â Josephus, fel y mae esgob Patrick yn sierhau i ni, ar 1 Bren. xx. 28. Dyma un o amryw siamplau, ym mha un y mae rhagoroldeb Teml gopi Josephus, uwchlaw ein holl gopiau eraill yn eglur ymddangos.

† Yr hyn sydd fwyaf hynod yn yr hanes yma yw, ac mewn llawer o hanesion yn yr Hen Destament, fod Duw, tra y parhaodd y llywodraeth ddwyfol, yn gweithredu yn gwbl fel goruwch frenin Israel, a phrif flaenor eu byddinoedd, ac yn disgwyl bob amser i'r Israeliaid fod tan y fath ymostyngiad cyfan gwbl iddo ef, eu goruchaf nefol frenin, a blaenor eu byddinoedd, megis y mae deiliaid a milwyr i'w brenhinoedd a'u prif gadbeniaid daearol; a hynny yn gyffredin heb wybod y rhesymmau neillduol o'u gorchymmynion. Gwel yn Saesnaeg Ofyniadau Dr. Harris, 8---22, ar ol ei Esponiad ar Esay, liii. Fy Eglurhad innau ar lyfr Job, a'm Llywodraethiad Ysgrythyrol, t. d. 4---7, lle y gwelir na ddechreuodd neillduol lywodraeth ddwyfol yr Iuddewon, hyd oni ddarfu i weddill y cenhedlaethau eilun-addolgar a drygionus ymwrthod â'r gyffredinol lywodraeth ddwyfol honno, yr hon hyd y pryd hynny oedd yn ymestyn tros holl ddynolryw.

‡ 1 Bren. xx. 43.

§ Cylch Bl. 914.

gyfreithiau eu gwlad. Y cenhedlaethau cymmydogol hefyd a barhausant i berchi Jehosaphat, ac i fod mewn heddwch ag ef. Y Philistiaid a dalasant eu teyrnged appwyntiedig; a'r Arabiaid a'i diwallasant â thri chant a thrugain * o ŵyn, a chynnifer o fynnod geifr. Efe hefyd a wnaeth amddiffynfeydd yn y dinasoedd mawrion, y rhai oeddynt amryw o nifer, ac o fawr ddefnydd: ac efe a barottôdd fyddin nerthol o wŷr, ac arfau iddynt yn erbyn eu gelynion. Yn awr y fyddin o wŷr a wisgasant eu harfogaeth ydoedd dri chan mil o lwyth Judah, o ba rai Adnah oedd y pennaf. Ond John ydoedd bennaeth ar ddau can mil. † Yr un gwr ydoedd bennaeth llwyth Benjamin hefyd, ac â dau can mil o saethyddion bwäau tano ef. Yr ydoedd hefyd bennaeth arall, enw yr hwn oedd Jehozabad; ac â chanddo gant a phedwar ugain o filoedd tano o wŷr arfog. Y llïaws yma a ddosparthwyd i fod yn barod i wasanaeth y brenin; heblaw y rhai a ddanfonodd i'r dinasoedd amddiffynnol.

Jehosaphat a gymmerodd i'w fab Jehoram yn wraig Athalia, merch Ahab, brenin y deg llwyth. A phan, wedi talm o amser, yr aeth efe i Samaria, Ahab a'i derbyniodd ef yn garedig, ac a ymddygodd tu ag at y fyddin a'i canlynai ef mewn modd parchus, gyd â llawnder mawr o ŷd a gwin, ac anifeiliaid lladdedig: gan ddymuno arno ymgyssylltu ag ef mewn rhyfel yn erbyn brenin Syria; fel y gallai ynnill yn ol o'i feddiant ef y ddinas Ramoth, yn Gilead. Canys er ei meddiannu gan ei dad, etto ddarfod i dad brenin Syria ei dwyn oddi arno. Ac ar addewid Jehosaphat i wneud cynnorthwy iddo, (canys yn wir nid ydoedd ei fyddin yn llai na'r eiddo y llall;) ac wedi danfon am ei fyddin o Jerusalem i Samaria, y ddau frenin a gychwynasant allan o'r ddinas, a phob un a eisteddasant ar ei orseddfaingc; ac a roisant eu gwahanol orchymmynion allan i'w byddinoedd. Yn awr Jehosaphat a barodd iddynt alw y prophwydi, os ydoedd rhai o honynt yno; ac ymofyn â hwynt mewn perthynas i'r ymgyrch hwn yn erbyn brenin Syria, pa un a wnelent eu cynghori i wneuthur yr ymgyrch y pryd hwn, ai ni wnaent: canys yr ydoedd yn awr heddwch rhwng Ahab a brenin Syria, yr hwn a barhasai dair blynedd, o'r amser y cymmerasai ef yn gaethwas hyd y dydd hwnnw.

Felly Ahab a alwodd ei brophwydi ei hun, a hwy mewn nifer ynghylch pedwar ‡ cant; ac a barodd iddynt ymofyn â Duw, a roddai efe iddo'r fuddugoliaeth, os gwnai ymgyrch yn erbyn Benhadad, a'i gynnorthwyo i ddadymchwel y ddinas honno, ar gyfrif pa un yr oedd yn myned i ryfel? Yn awr y prophwydi hyn a roddasant eu cyngor i wneud yr ymgyrch; gan ddywedyd y gorchfygai ef frenin Syria; ac, megis cynt, y darostyngai ef tan ei awdurdod. Ond Jehosaphat yn deall wrth eu geiriau mai gau brophwydi oeddynt, a ofynodd i Ahab, a oedd yno un prophwyd arall yn perthyn i'r gwir Dduw? fel y gallent gael sicrach hyspysrwydd am bethau i ddyfod. Ahab a ddywedodd fod yno yn wir gyfryw un, ond ei fod yn ei gasâu ef megis un yn prophwydo drwg iddo; ac wedi rhagddywedyd y gorchfygid ac y lladdid ef gan frenin Syria; ac mai ar gyfrif hynny yr ydoedd ganddo yn awr yngharchar: ac mai ei enw ydoedd Micaiah, fab Imlah. Ond ar ddymuniad Jehosaphat ar fod iddo gael ei gyrchu, Ahab a ddanfonodd efnuch, yr hwn a ddygodd Micaiah o'u blaen. Yn awr yr efnuch a ddywedasai wrtho ar y ffordd, fod yr holl brophwydi eraill yn rhagddywedyd y byddai i'r brenin gael buddugoliaeth. Ond efe a ddywedodd nad oedd gyfreithlon iddo ef ddywedyd celwydd yn erbyn Duw; ond fod yn rhaid iddo fynegi yr hyn a ddywedai efe wrtho ymherthynas i'r brenin, pa beth bynnag a fyddai. Pan ddaeth efe at Ahab, ac iddo ei dynghedu trwy lw i ddywedyd y gwir wrtho; dywedodd yntau ddarfod i Dduw ddangos Israel iddo ef megis yn ffoi ymaith, a'r Syriaid yn eu herlid, ac wedi eu gwasgaru ar y mynyddoedd ganddynt, fel gwasgariad diadell o ddefaid yn ol lladd eu bugail. Dywedodd ymhellach, ddarfod i Dduw arwyddo iddo ef, y dychwelai'r Israeliaid hynny yn heddychol i'w cartrefi eu

* Saith mil a saith gant, Hebr. a'r Septuagint, 2 Cron. xvii. 11.

† Dau cant a phedwar ugain o filoedd, 2 Cron. xvii. 15. ‡ 1 Bren. xxii. 6.

hunain, ac mai efe yn unig a syrthiai yn y frwydr. Wedi i Micaiah lefaru fel hyn, Ahab a ddywedodd wrth Jehosaphat, "Dywedais ychydig amser a aeth heibio am ymddygiad y dyn hwn ymherthynas i mi, a'i fod yn arferol o brophwydo drwg i mi." Ar yr hyn yr attebodd Micaiah, y dylai wrando y cwbl, beth bynnag a fyddo, ag a ragfynegir gan Dduw; ac yn neillduol, mai gau brophwydi ydynt hwy, ag oedd yn ei annog i wneud y rhyfel hwn mewn gobaith o fuddugoliaeth: gan fod yn rhaid iddo ymladd i gael ei ladd. Ond Zedeciah, un o'r gau brophwydi hyn, a nesaodd atto, ac a'i cynghorodd na wrandawai ar Micaiah, am nad ydoedd yn llefaru gwirionedd oll. Fel dangosiad o hyn, efe a ddygodd yn siampl yr hyn a ddywedasai * Elias, yr hwn ydoedd well prophwyd am ragfynegi pethau i ddyfod na Micaiah; canys efe a ragddywedasai y byddai i'r cŵn lyfu ei waed ef yn ninas Jezreel, ym maes Naboth, megis y llyfasant waed Naboth, yr hwn trwy 'r moddion o hono ef a labyddiwyd i farwolaeth gan y lliaws; ac am hynny yr ydoedd yn amlwg fod y Micaiah hwn yn gelwyddog, a'i fod yn gwrthddywedyd prophwyd mwy nag ef ei hun; trwy ddywedyd y lleddid ef daith tridiau oddi yno. "Ac," eb efe, "chwi gewch wybod yn fuan pa un a ydyw efe yn wir brophwyd, ac a chanddo wybodaeth y dwyfol yspryd; canys myfi a'i tarawaf ef, a gwnaed niweid i'm llaw, fel y gwnaeth Jadon i law Jeroboam y brenin wywo, pan fynnai ei ddal ef; canys yr wyf yn tebygu glywed o honot am y tro hwnuw." Felly, ar ei waith yn taro Micaiah, ac heb ddigwydd dim niweid iddo, Ahab a gefnogodd, ac yn barodlawn a dywysodd ei fyddin yn erbyn brenin Syria. Canys, fel yr wyf yn dychymmyg, yr oedd tynghedfen † yn rhy galed iddo; ac a barodd iddo gredu fod y gau brophwydi yn llefaru yn wirioneddusach na 'r gwir brophwyd, fel y byddai yn achlysur i'w ddwyn ef i'w ddiwedd. Pa fodd bynnag, Zedeciah a wnaeth gyrn o haiarn, ac a ddywedodd wrth Ahab, fod Duw yn gwneuthur y cyrn hynny yn arwyddion; ac mai â hwynt y corniai, neu y dadymchwelai yr holl Syriaid. Ond Micaiah a attebodd, mai ym mhen ychydig ddyddiau y byddai i Zedeciah fyned o'r naill ystafell ddirgel i'r llall i ymguddio ei hun, a diangc rhag cospedigaeth am ei gelwyddau. Yna y rhoddes y brenin orchymmyn ar fod iddynt gymmeryd Micaiah ymaith gyd â gwyliadwriaeth at Amon, llywodraethwr y ddinas; a rhoddi iddo ddim yn gynnaliaeth ond bara a dwfr.‡

Yna Ahab, a Jehosaphat brenin Jerusalem, a gymmerasant eu lluoedd gyd â hwynt, gan ymdaith tu a Ramoth, dinas yn Gilead. Ac wedi i frenin Syria glywed am yr ymgyrch hwn, efe a ddygodd allan ei fyddin i'w gwrthwynebu hwynt, ac a wersyllodd heb fod neppell o Ramoth. Yn awr Ahab a Jehosaphat a gyttunasant, i Ahab ddiosg § ei wisgoedd brenhinol; ond bod i frenin Jerusalem ddodi ei wisg (sef yr eiddo Ahab) am dano, a sefyll o flaen y fyddin; mewn trefn i ddadbrofi trwy y cyfrwysdra hwn,yr hyn a ragfynegodd Micaiah. Ond barn Ahab a'i cafodd allan heb ei wisg frenhinol am dano. Canys Benhadad, brenin Syria, a roisai orchymmyn i'w fyddin, trwy 'r moddion o'u blaenoriaid, na laddent neb arall, ond brenin Israel yn unig. Felly pan ddarfu i'r Syriaid, wedi ymgyssylltu mewn brwydr â'r Israeliaid, weled Jehosaphat yn sefyll o flaen y fyddin, ac yn tybio mai Ahab ydoedd, hwy a syrthiasant yn llidiog arno ef, ac a'i hamgylchynasant. Ond wedi iddynt ddyfod yn agos, ac

* Y rhesymmau hyn o eiddo Zedeciah, y gau brophwyd, mewn trefn i berswadio Ahab i beidio credu Micaiah y gwir brophwyd, ydynt o deg ymddangosiad; ond, a hwy wedi eu gadael allan yn ein copiau eraill, nis medrwn ddywedyd pa le y cafodd Josephus hwynt; pa un ai o'i deml gopi ei hun, o ryw awdwr hynafol arall, neu o ryw nodau hynafiaethol. Ddarfod i ryw gyffelyb deg-ymadroddion gael eu cyfodi yn awr yn wrthwyneb i Micaiah sydd dra thebygol; pe amgen ni buasai Jehosaphat, yr hwn a arferai anghredu yr holl fath gau brophwydi, fyth yn cael ei ddenu i fod yn gydymmaeth i Ahab yn yr antur ryfygus hon.

† Neu ddwyfol ragluniaeth.

‡ 1 Bren. xxii. 27.

§ Y darlleniad hwn yn Josephus, a'r Septuagint, ddarfod i Jehosaphat ddodi am dano, nid ei wisg ei hun ond yr eiddo Ahab, mewn trefn i ymddangos yn ei le ef, tra 'r oedd Ahab ei hun heb wisg addurnedig am dano fel brenin, gan obeithio wrth hynny ddiangc rhag ei ddrwg-ddigwyddiad, a dadbrofi prophwydoliaeth Micaiah i'w erbyn, sydd dra thebygol. Mae'n rhoddi goleu mawr hefyd i mewn i'r holl hanes yma: ac yn dangos, er y gallai Ahab obeithio y byddai i Jehosaphat gael ei gamgymmeryd am dano ef, a rhedeg yr antur o gael ei ladd yn y frwydr, etto fe gafodd hollol siomedigaeth: tra etto yr oedd diangfa y dyn da Jehosaphat, a lladdfa y dyn drwg Ahab, yn dangos y gwahaniaeth mawr ag oedd dwyfol ragluniaeth yn ei wneuthur rhyngddynt hwy.

yn deall nad Ahab ydoedd, hwy a ddychwelasant oll yn eu hol. A thra 'r oedd yr ymladdiad yn parhau o'r boreu-olenni hyd yr hwyr, a'r Syriaid yn gongcwerwyr, ni laddasant neb, fel y gorchymmynasai eu brenin iddynt. A phan oeddynt yn ceisio lladd Ahab yn unig, ond heb fedru ei gael ef, yr ydoedd yno ŵr ieuangc ardderchog yn perthynu i Benhadad, enw yr hwn oedd Naaman; efe a dynnodd mewn bwa yn erbyn y gelyn, ac a glwyfodd y brenin trwy ei ddwy-fronneg yn ei ysgyfaint. Ar hyn Ahab a benderfynodd na wnelai ei anhap yn adnabyddus i'w fyddin, rhag iddynt ffoi ymaith. Ond efe a barodd i yrrwr ei gerbyd ei ddychwelyd yn ol, a'i ddwyn ef o'r fyddin, o herwydd ei glwyfo yn farwol.* Pa fodd bynnag efe a eisteddodd yn ei gerbyd, ac a ymgynnaliodd tan ei ddolur hyd fachludiad haul, ac yna efe a lewygodd ymaith.

Ar agoshâd y nos, byddin y Syriaid a aethant ymaith i'w gwersyll: ac, wedi i'r cyhoeddwr perthynol i'r gwersyll roddi arwydd fod Ahab wedi marw, hwy a ddychwelasant adref. A hwy a gymmerasant gorph marw Ahab i Samaria, ac a'i claddasant yno: ond â hwy yn golchi ei gerbyd wrth y ffynnon yn Jezreel, yr hwn oedd waedlyd oddiwrth gorph marw 'r brenin; hwy a gydnabuasant wirionedd prophwydoliaeth Elias; canys y cŵn a lyfasant ei waed; a'r putteiniaid a arferent yn ol hynny ymolchi eu hunain yn y llynn hwnnw. Ond er hynny efe a fu farw yn Ramoth, fel y rhagddywedodd Micaiah. Ac fel y daeth yr hyn a ragfynegwyd † gan y ddau brophwyd i ben, fe ddylai fod gennym oddiwrth hynny feddyliau parchus am Dduw; ac ym mhob man ei anrhydeddu a'i addoli ef; ac heb un amser feddwl fod yr hyn sydd ddymunol a hyfryd yn deilwng o grediniaeth o flaen yr hyn sydd wir; ac i gyfrif dim yn fwy manteisiol na 'r ddawn o brophwydoliaeth, a'r rhagwybodaeth hwnnw o bethau i ddyfod a dardd oddiwrthi; gan fod Duw trwy hynny yn dangos i ddynion yr hyn a ddylent ei ochelyd. Gallwn hefyd, oddiwrth yr hyn a ddigwyddodd i'r brenin yma, ystyried grym tynghedfen; ‡ ac nad oes dim ffordd i'w gochelyd, ïe, er gwybod am dani. Y mae yn ymlusgo yn ddirgel i gyflyrau dynion, ac yn eu gwenieithio â gobaith cyssurus, nes eu harwain o amgylch i'r cytyngder ag a fyddo yn rhy anhawdd iddynt ddiangc o hono. Yn ganlynol Ahab a ymddengys ei fod wedi ei dwyllo y modd hwn; nes anghredu o hono y rhai oedd yn rhagddywedyd am ei ddinystr; ond trwy roddi coel i'r cyfryw ag a gymmerent arnynt ragddangos yr hyn oedd yn ei foddio, efe a ddifethwyd; a'i fab Ahaziah ddaeth ar ei ol ef.

# LLYFR IX.

*Yn cynnwys Amseriad o Un Cant a dwy ar Bymtheg a Deugain o Flynyddoedd.*

O FARWOLAETH AHAB HYD GAETHIWED Y DEG LLWYTH.

## PENNOD I.

***Amymarweddiad duwiol Jehosaphat; appwyntiad ei Farnwyr, a'i Fuddugoliaethau ar ei Elynion.***

WEDI i Jehosaphat ddyfod i Jerusalem, ar ol y cynnorthwy a amcanodd wneuthur i Ahab brenin Israel, yn erbyn y Syriaid, y prophwyd Jehu a'i cyfarfu ef, ac a feiodd arno am gynnorthwyo tywysog annuwiol; ac a ddywedodd fod Duw wedi anfoddloni tu ag atto

*1 Bren. xxii. 35.

†Y mae gennym yma adfyfyriad synhwyrol o eiddo Josephus ynghylch Dwyfol ragluniaeth, a'r hyn a dardd oddiwrthi; prophwydoliaeth, a'r sicrwydd diamheuol o'i chyflawniad: a phan fo dynion drwg yn meddwl eu bod yn cymmeryd y ffordd gallaf i ochelyd yr hyn a gyhoeddir i'w herbyn, a diangc rhag y dwyfol farnedigaethau a fygythir trwy hynny; heb edifeirwch, y maent bob amser, trwy ragluniaeth, yn ynfydu i ddwyn o amgylch eu dinystr eu hunain. Ac wrth hynny yn cwbl amlygu perffaith wirionedd y Duw hwnnw, rhagddywediadau pa un y maent yn ofer yn ymdrechu i'w ochelyd.

‡ Trefn Dwyfol ragluniaeth.

am wneuthur felly: ond ddarfod iddo ef ei waredu rhag y gelyn, er pechu o hono, ar gyfrif tueddrwydd cyffredinol ei feddwl, yr hwn oedd dda. Ar hyn y brenin a ymroddodd ei hun i ddiolchgarwch, ac i wneuthur aberthau i Dduw; ac yn fuan ar ol hynny efe a aeth o amgylch yr holl wlad a lywodraethodd, gan ddysgu y bobl i wneud sulw o'r cyfreithiau a roddodd Duw iddynt trwy Moses, a'r addoliad crefyddol hwnnw oedd yn ddyledus iddo. Efe hefyd a ordeiniodd farnwyr yn yr holl ddinasoedd trwy ei deyrnas; gan orchymmyn iddynt na olygent ddim yn gymmaint wrth farnu 'r bobl ag i wneud cyfiawnder, ac i beidio a chymmeryd eu gogwyddo gan wobrwyau, na chan uchafiaeth dynion enwog, o ran eu genedigaeth neu gyfoeth; ond i ddosparthu cyfiawnder yn gydradd i bawb; megis yn gwybod fod Duw yn adnabyddus o bob dirgel weithred. Wedi iddo eu hyfforddi y modd hwn, a myned tros bob dinas o'r ddau lwyth, efe a ddychwelodd i Jerusalem. Efe a osododd yno hefyd farnwyr * o blith yr offeiriaid a'r Lefiaid, a rhai pennaf y lliaws; ac a'u rhybuddiodd i ddatgan eu dedryd gyd â gofal, ac mewn cyfiawnder. Ac os byddai i neb o bobl ei wlad a chanddynt gwynion o fawr ganlyniad, fod iddynt eu hanfon o'r dinasoedd eraill at y barnwyr hynny, y rhai a fyddent rwymedig i roddi barn gyfiawn ymherthynas i'r fath achosion; a hynny gyd â mwy o ofal, oblegid fod yn addas i'r ddedryd a rodder yn y ddinas honno lle y mae teml Dduw, a lle y mae 'r brenin yn preswylio, gael ei rhoddi gyd â'r gofal a'r uniondeb mwyaf. Yn awr efe a osododd yn olygwyr arnynt Amariah yr offeiriad, a Zebadiah o lwyth Judah. Ac yn y modd yma y bu i'r brenin drefnu ei fatterion.

Ynghylch yr un amser y Moabiaid a'r Ammoniaid a wnaethant ymgyrch yn erbyn Jehosaphat, ac a gymmerasant gyd â hwynt gorph mawr o Arabiaid; a hwy a osodasant eu gwersyll yn Engedi, dinas â'i sefyllfa yn agos i'r llynn Asphaltites, a'i phellder yn dri chant o 'stadau o Jerusalem. Yn y lle hwnnw y tyfai y rhyw gorau o balmwydd, a'r opobalsamum. † Yn awr, Jehosaphat a glybu fod y gelynion wedi dyfod tros y llynn, a gwneud rhuthr i'r wlad a berthynai i'w deyrnas ef: wrth ba newyddion efe a arswydwyd, ac a alwodd bobl Jerusalem ynghyd yn gynnulleidfa i'r deml.‡ A chan sefyll i fynu ar gyfer y deml ei hun, efe a alwodd ar Dduw am ganiattau iddo nerth i wneud cospedigaeth ar y gwrthwynebwyr hynny: canys y rhai a adeiladodd ei deml a weddiasant ar iddo amddiffyn y ddinas honno, a dïal ar y rhai a fyddent mor hŷ a dyfod yn ei herbyn. Ar ol iddo weddio fel hyn, efe a gynhyrfwyd hyd at dywallt dagrau; a'r holl lïaws, ynghyd a'u gwragedd, a'u plant, a wnaethant hefyd eu herfyniadau. Ar hyn rhyw brophwyd a'i enw Jahaziel a ddaeth i ganol y dyrfa, ac a lefodd allan wrth y lliaws a'r brenin, fod Duw wedi gwrando eu gweddiau, ac addaw ymladd yn erbyn eu gelynion. Efe hefyd a archodd, fod i'r brenin alw ei luoedd allan y dydd nesaf; o herwydd y cyfarfyddai â hwynt rhwng Jerusalem a rhiw Engedi, wrth le a elwir y Goruwchder, § ac na fyddai iddo ymladd â'u lluoedd, ond yn unig sefyll yn llonydd, ac edrych y modd yr ymladdai Duw i'w herbyn. Wedi i'r prophwyd ddywedyd hyn, y brenin a'r lliaws a syrthiasant ar eu hwynebau, gan ddiolch i Dduw, a'i addoli ef; a'r Lefiaid a barhausant yn canu hymnau i Dduw, gyd â'u hofferynnau cerddoriaeth.

Cyn gynted ag yr aeth yn ddydd, a dyfod y brenin i'r anialwch tan ddinas Tecoa, dywedodd wrth y lliaws, y dylent ymorphwys ar yr hyn a ddywedodd y prophwyd; a pheidio trefnu eu hunain i ymladd, ond i osod yr offeiriaid gyd â'u hudgyrn, a'r Lefiaid, gyd â chantorion hymnau, i roddi diolch i Dduw, megis wedi gwaredu o hono eisoes y wlad oddiwrth ei gelynion. Y meddyliau hyn o eiddo 'r brenin a ryngodd fodd y bobl, a hwy a wnaethant fel y dymunodd. Felly Duw a barodd i ddychryn a chynnwrf gyfodi yn mysg yr Ammoniaid, y

* Y barnwyr yma a ordeiniwyd gan Jehosaphat oeddynt fath o Sanhedrim, neu brif-senedd yr Iuddewon yn Jerusalem, allan o'r offeiriaid a'r Lefiaid, a phennaethiaid y bobl, yma ac yn 2 Cron. xix. 8, yn dra chyffelyb i hen farn-lysoedd Cristionogol o esgobion, henuriaid, diaconiaid, a llygwyr hefyd.

† Ymherthynas i'r balsam gwerthfawr hwn, gwel nôd ar VIII. 6.

‡ 2 Cron. xx. 3, 4.

§ Gallt Ziz, 2 Cron. xx. 16.

rhai a ddychymmygasant eu gilydd yn elynion, ac a laddasant y naill y llall, yn gymmaint ag na ddiangodd un dyn o fyddin mor lïosog. A phan edrychodd Jehosaphat ar y dyffryn ym mha un y gwersyllai y gelynion, a'i ganfod yn llawn o ddynion meirw, efe a ryfeddodd wrth y weithred hon o eiddo Duw; yr hwn trwy ei nerth ei hun, ac heb eu llafur hwy, a roisai iddynt y fath ymwared. Efe hefyd a ganiattaodd i'w fyddin ysglyfaethu gwersyll y gelynion, a diosg y meirw o'u haddurniadau, a hynny yn wir am dri diwrnod, nes eu bod yn flinedig, o herwydd fod nifer y lladdedigion gymmaint. Ac ar y pedwerydd dydd, yr holl bobl a ymgynnullsant ynghyd i ryw bant neu ddyffryn, ac a fendithiasant Dduw am ei allu a'i gymmorth; oddiwrth yr hyn y galwyd y lle dyffryn Barechah, neu 'r Fendith.*

Wedi i'r brenin ddwyn ei fyddin yn ol i Jerusalem, efe a gadwodd ŵyl, ac a offrymmodd aberthau am amryw ddyddiau. Ac yn wir ar ol distrywiad eu gelynion, a phan ddaeth i glustiau cenhedloedd tramor, yr oeddynt yn dychrynu yn fawr, gan feddwl y byddai i Dduw ymladd yn gyhoeddus trosto yr amser i ddyfod. Felly Jehosaphat o'r pryd hwnnw a fu mewn anrhydedd a pharch mawr, ar gyfrif ei gyfiawnder a'i ffyddlondeb tu ag at Dduw. Yr ydoedd hefyd mewn cymdeithasrwydd â mab Ahab, yr hwn oedd frenin Israel: ac efe a ymunodd ag ef yn adeiladaeth llongau, ac ydoedd i fordwyo tu a Phontus, a dinasoedd masnachol Thrace:† ond y llongau a ddinystriwyd o herwydd eu bod yn drymion, ac o'r fath faintioli; ac wedi ei siommi ymherthynas i'r elw hwn, nid ymdriniodd ymhellach â llongwriaeth. A thyma hanes Jehosaphat, brenin Jerusalem.

## PENNOD II.

*Am Ahaziah, brenin Israel; a 'chwanegol weithredoedd y prophwyd Elias.*

YN awr‡ Ahaziah, mab Ahab, a deyrnasodd ar Israel, ac a wnaeth ei drigfa yn Samaria. Yr ydoedd efe yn ddyn annuwiol, ac, ym mhob modd, yn debygol i'w rieni, ac i Jeroboam yr hwn a droseddodd gyntaf, ac a ddechreuodd hudo y bobl. Yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad, brenin Moab a wrthgiliodd o'i ufudd-dod, ac a adawodd heibio dalu y deyrnged a roddasai o'r blaen i Ahab. Yn awr fe ddigwyddodd i Ahaziah, fel yr oedd yn dyfod i wared o nen ei dŷ, syrthio o hono i lawr; ac yn ei ddolur efe a ddanfonodd at y Gwybedyn, § yr hwn oedd dduw Ecron; canys dyna oedd enw y duw yma, i ymofyn ynghylch ei wellâd. Ond Duw yr Hebreaid a ymddangosodd i Elias y prophwyd, ac a barodd iddo gyfarfod â'r negeseuwyr a anfonasid; ac i ofyn iddynt, ai nid oedd gan bobl Israel Dduw eu hunain, pan anfonai 'r brenin at dduw dieithr i ymofyn ynghylch ei wellâd? a pheri iddynt ddychwelyd a dywedyd i'r brenin na ddiangai ar yr afiechyd hwn. Ac wedi i Elias gyflawni yr hyn a orchymmynodd Duw, a chlywed o'r negeseuwyr yr hyn a ddywedodd, hwy a ddychwelasant yn ddioed at y brenin. Ac a'r brenin yn rhyfeddu pa fodd y dychwelasant mor gyflym, a gofyn iddynt y rheswm o hono, dywedasant, "Rhyw ŵr a'n cyfarfu, ac a waharddodd i ni fyned ymhellach; ond i ddychwelyd a dywedyd wrthyt, trwy orchymmyn Duw Israel, y bydd i'r clefyd hwn ddiweddu yn beryglus."‖ A phan ddymunodd y brenin iddynt ddescrifio 'r gwr ag a ddywedodd hyn wrthynt; hwythau a attebasant, "mai dyn blewog ydoedd, ac wedi ei wregysu â gwregys o ledr." Felly y brenin a ddeallodd, mai 'r un

* 2 Cron. xx. 26.

† Yr hyn a enwir yma Pontus a Thraee, megis y lleoedd ag oedd llynges Jehosaphat yn hwylio iddynt, a elwir yn ein copiau eraill Ophir a Tharshish; a'r lle o ba un yr hwyliasant a elwir ynddynt hwy Eziongeber, yr hwn oedd yn gorwedd ar y Môr coch; o ba le yr oedd yn ammhossibl i ddim llongau fordwyo i Pontus neu Thraee. Felly yr oedd copi Josephus yn gwahaniaethu yma oddiwrth ein copiau eraill. Ond mor bell a hyn y gallwn benderfynu, i Josephus feddwl fod un Ophir yn rhyw gwrr i'r Môr canoldir, ac nid yn y Môr deheuol; er ysgatfydd y gallai fod Ophir arall yn hwnnw hefyd; a llyngesau a allent fordwyo o Phenicia ac o'r Môr coch i geisio aur Ophir; yr wyf yn meddwl hyn oll, oddieithr yr hyn a eilw ein copiau Ophir, fod teml gopi Josephus yn ei alw Pontus, fel y cyfieithir y gair yno ganddo ef. Yr hwn ysgatfydd yw'r gwirionedd, ac sy'n eglurhau 'r holl anhawsdra.

‡ Bl. 899.

§ Y gwybed-dduw hwn a ymddengys gael o hono ei alw felly, megis ag yr oedd y cyffelyb ym mysg y Groegiaid, oddiwrth ei ddychymmygol awdurdod ar y gwybed, yn eu gyrru ymaith oddiar gnawd yr aberthau; y rhai pe amgen a fuasent yn dra rhwystrus.

‖ 2 Bren. i. 6.

a ddescrifid gan y negeseuwyr ydoedd Elias. Ar hyn efe a ddanfonodd atto gadben, a deg a deugain o filwyr, gan orchymmyn iddynt ddwyn Elias atto ef. Ac wedi i'r cadben a ddanfonwyd gael Elias yn eistedd ar ben bryn, efe a orchymmynodd iddo ddisgyn i wared, a dyfod at y brenin, am iddo orchymmyn hynny; ac os gommeddai hwy a'i dygent ymaith trwy drais. Elias a ddywedodd, "Fel y profoch chwi pa un a ydwyf yn wir brophwyd, mi erfyniaf ar i * dân ddyfod i lawr o'r nefoedd, a difetha dy filwyr a thithau hefyd." Felly efe a weddiodd, a thrô-wynt o dân a ddisgynnodd o'r nefoedd, ac a ddifethodd y cadben a'r rhai oedd gyd ag ef. Ac wedi hyspysu i'r brenin y modd y distrywiwyd y dynion hyn, yr ydoedd yn dra digllon, ac a ddanfonodd gadben arall, a'r un nifer o wŷr arfog ag o'r blaen. Ac wedi i'r cadben hwn hefyd fygwth y prophwyd, mai oddieithr iddo ddyfod i wared o'i fodd, efe a'i cymmerai ac a'i dygai ef ymaith: ac ar ei waith yn gweddio yn ei erbyn ef, tân o'r nefoedd a ddifethodd y cadben hwn megis yr un arall. A phan, wedi ymofyn, yr hyspyswyd i'r brenin yr hyn a ddigwyddasai, efe a anfonodd allan drydydd cadben. Ond wedi i'r cadben yma, yr hwn oedd ŵr synhwyrol, o bwyll ac arafwch, ddyfod i'r fan lle y digwyddodd fod Elias, efe a lefarodd yn barchus wrtho; ac a ddywedodd y gwyddai mai yn erbyn ei gydsyniad ei hun, ac mai yn unig mewn ymostyngiad i orchymmyn y brenin, yr oedd efe yn dyfod atto; ac na ddaethai y rhai o'r blaen yn wirfoddol, ond ar yr un cyfrif. Efe gan hynny a erfyniodd arno gymmeryd tosturi ar y dynion oedd gyd ag ef, a dyfod i wared a'i ddilyn ef at y brenin. Felly Elias a ymostyngodd i wneud sulw o'r ymadroddion parchus hyn, ac a ddaeth i wared, ac a'i dilynodd. A phan ddaeth at y brenin, efe a lefarodd wrtho, "Duw sydd yn dywedyd, gan i ti ei ddirmygu ef megis pe na buasai Dduw, ac yn analluog i ragfynegi 'r gwir am dy afiechyd ti, ond a ddanfonaist at dduw Ecron, i ymofyn ag ef; gwybydd mai marw a fyddi.

Yn ganlynol y brenin a fu farw ym mhen ychydig o amser,† fel y rhagddywedasai Elias; a Jehoram ei frawd a'i dilynodd ef yn llywodraeth y deyrnas, canys efe a fu farw yn ddiblant. Y Jehoram ‡ hwn ydoedd debyg i'w dad mewn drygioni, ac a deyrnasodd ddeuddeng mlynedd; gan fwynhau ei hun mewn pob math o ddrygioni, ac yn anghrefyddol tu ag at Dduw. Canys gan adael heibio ei addoliad, efe a addolodd dduwiau dieithr. Ond mewn pethau eraill yr ydoedd yn ddyn astud a defnyddiol.

Yn awr yr amser hyn y cymmerwyd Elias ymaith oddiwrth ddynion; ac ni wybu neb am ei farwolaeth hyd y dydd hwn: ond efe a adawodd o'i ol ei ddisgybl Eliseus, megis yr adroddasom o'r blaen. Ac yn wir ymherthynas i Elias, ac Enoch, yr hwn a fu byw cyn y diluw, fe ysgrifenwyd yn y llyfrau cyssegredig iddynt ddiflanu ymaith; ond yn y fath fodd na wyddai neb farw o honynt.

## PENNOD III.

*Am ymgyrch a wnaethpwyd gan Joram a Jehosaphat yn erbyn y Moabiaid; gweithrediadau Eliseus, a marwolaeth Jehosaphat.*

---

* Fe'i cyfrifir yn gyffredinol yn weithred greulon yn Elias, pan y galwodd am dân o'r nefoedd, ag a ddifethodd ddau gadben a chant o filwyr, a hyn am ddim bai arall ond ufuddhau i orchymmyn y brenin, am ei gymmeryd ef. A'n Hiachawdwr a sylwodd arno fel arwydd o fwy toster nag y mae yspryd y Testament Newydd yn ei gymmeradwyo, Luc ix. 54. Ond rhaid i ni ystyried nad yw yn annhebyg fod y cadbeniaid a'r milwyr yma yn credu eu bod yn cael eu hanfon i geisio y prophwyd fel y rhoddid ef i farwolaeth, am ragddywedyd marwolaeth y brenin; a hynny pan wyddent mai prophwyd y gwir Dduw ydoedd, goruchaf frenin Israel, (canys yr oeddynt etto tan y llywodraeth ddwyfol,) yr hyn nid oedd ddim llai na didduwiaeth, gwrthryfel, a theyrnfradwriaeth i'r radd uchaf. Ac ni allai fod gorchymmyn a roddid i is-swyddog neu gadben, yn wrthwyneb i brif-flaenor llu, pan fyddai y cadben a'r milwyr yn gwybod ei fod felly, fel yr wyf yn tebygu, gyfiawnhau neu esgusodi anufudd-dod mewn milwyr y dydd heddyw. Yn ganlynol, pan orchymmynodd Saul i'w filwyr ladd Abimelech, a'r offeiriaid yn Nob, hwy a wyddent ei fod yn orchymmyn anghyfreithlon, ac ni ufuddhasant iddo, 1 Sam. xxii. 17. Oddiwrth ba amgylchiad y gall swyddogion a milwyr ddysgu, na all gorchymmynion eu blaenoriaid a'u brenhinoedd eu hesgusodi wrth wneuthur yr hyn sydd ddrwg yngolwg Duw, neu ymladd mewn achos anghyfiawn, pan ydynt yn gwybod ei fod felly. Gwel y Nodau ar VII. 13. a'r VIII. 14.

† Bl. 898.

‡ Adroddiad Josephus am Joram a ymddengys yn llawer gwaeth nag yn ein copiau Hebraeg neu Roeg; y rhai a ddywedant 2 Bren. iii. 2, 3, mai er dilyn o hono addoliad lloi aur Jeroboam, er hynny na weithredodd efe fel ei dad Ahab, (a'i fam Jezebel, o herwydd iddo fwrw ymaith ddelw Baal a wnaethai ei dad ef.) Lle y gallwn sylwi, fod nid yn unig llaw-'sgrifeniadau Alecsandria, yn gadael allan y gangen ddiweddaf yn gynnwysedig mewn cyplysnod: ond bod hanes ei amgylchiadau canlynol, a chospedigaeth ddwyfol y Joram yma yn ein holl gopiau, yn cadarnhau ei hanes waethygol yn Josephus. Gwel 2 Bren. iii. 13, 14. vi. 31, 32. ix. 7, 8, 9, 10, 22---26.

WEDI i Joram gymmeryd arno * lywodraeth y deyrnas, efe a benderfynodd wneuthur ymgyrch yn erbyn brenin Moab, enw yr hwn oedd Mesha. Canys fel y dywedasom o'r blaen, efe a ymadawsai oddiwrth ei ufudd-dod i'w frawd Ahazia, pan ydoedd yn talu i'w dad Ahab † ddau can mil o ddefaid, gyd â'u cnüau o wlan. Wedi iddo, gan hynny, alw ei fyddin ei hun ynghyd, efe a ddanfonodd at Jehosaphat, ac a erfyniodd arno ef; mai o herwydd ei fod yn gyfeillgar â'i dad o'r dechreuad, fod iddo ei gynnorthwyo yn y rhyfel ag oedd yn myned iddo â'r Moabiaid, y rhai a ymadawsent oddiwrth eu hufudd-dod. Jehosaphat gyd â pharodrwydd a addawodd ei gynnorthwyo; ac a wnai i frenin Edom, yr hwn oedd tan ei awdurdod, wneuthur yr un ymgyrch hefyd. Pan dderbyniodd Joram y sicrhâd yma, efe a gymmerodd ei fyddin gyd ag ef, ac a ddaeth i Jerusalem: ac wedi ei roesawi yn helaethwych gan frenin Jerusalem, fe benderfynwyd ganddynt i wneud eu hymgyrch yn erbyn eu gelynion trwy anialwch Edom. Ac wedi cymmeryd cwmpas o daith saith niwrnod, yr oeddynt mewn cyfyngder o eisiau dwfr i'r anifeiliaid, ac i'r fyddin, trwy eu camgymmeriad o'r ffyrdd gan y cyfarwyddwyr oedd yn eu harwain hwynt, fel ag yr oeddynt oll yn yr ing mwyaf, yn enwedig Joram: a llefasant ar Dduw oblegid eu gwasgfeuon, gan ewyllysio gwybod pa ddrwg a wnaethid ganddynt, ag a barasai iddo roddi tri brenin ynghyd, heb ymladd, i fynu i ddwylaw brenin Moab? Ond Jehosaphat, yr hwn oedd ddyn cyfiawn, a'i cefnogodd ef, a pharodd iddo anfon i'r gwersyll i wybod a oedd un prophwyd i Dduw wedi dyfod gyd â hwynt, fel y gallent ddysgu gwybod gan Dduw, trwyddo ef, pa beth i'w wneuthur. A phan ddywedodd un o weision Joram weled o hono Eliseus fab Shaphat a disgybl Elias, gyd â hwynt; y tri brenin a aethant atto ef, ar ddeisyfiad Jehosaphat. Ac wedi eu dyfod i babell y prophwyd, y tu allan i'r gwersyll; gofynasant iddo Pa beth a ddeuai o'r fyddin? a Joram ydoedd yn dra ymbilgar ag ef yn ei gylch. A phan attebodd iddo, na flinai efe ef; ond myned o hono at brophwydi ei dad a'i fam; canys hwynt-hwy yn sicr oeddynt wir brophwydi; efe er hynny a ddeisyfodd arno brophwydo a'u hachub hwynt. Felly efe a dyngodd yn enw 'r Arglwydd na wnai attebiad iddo, oni byddai er mwyn Jehosaphat, yr hwn oedd ŵr sanctaidd a chyfiawn; a phan, ar ei ddymuniad, y dygasant atto un a fedrai chwareu ar y saltring, y dwyfol yspryd a ddaeth arno ef tan sain y peroriaeth; ac efe a orchymmynodd iddynt gloddio amryw ffosydd yn y dyffryn: "Canys," eb efe, "er na ymddengys cwmmwl na gwynt, na thymmestl o wlaw, chwi gewch weled yr afon hon yn llawn dwfr, nes diwallu 'r fyddin a'r anifeiliaid wrth yfed o honi. Ac nid hyn fydd y ffafr oll a dderbyniwch gan Dduw, ond chwi hefyd a orchfygwch eich gelynion, ac a gymmerwch y goreu a'r cadarnaf o ddinasoedd y Moabiaid; a chwi a dorrwch ‡ i lawr eu coed-ffrwythau, a difrodwch eu gwlad, ac a lenwch i fynu eu ffynhonnau a'u hafonydd."

Yn ganlynol, y dydd nesaf cyn codiad haul, llifeiriant o ddwfr a redodd o amgylch; canys Duw a barasai iddi wlawio yn dra helaeth yn y pelldra o daith tridiau yn Edom; fel ag y cafodd y fyddin a'r anifeilieid ddwfr yn ddigonol. Ond pan glybu y Moabiaid fod y tri brenin yn dyfod ar eu gwarthaf hwynt, ac yn neshau attynt trwy 'r anialwch, brenin Moab a gasglodd ei fyddin ynghyd ar fyrder, ac a orchymmynodd iddynt wersyllu ar y mynyddoedd: a phan gynnygiai 'r gelynion ddyfod i mewn i'w gwlad, na byddent hwy yn guddiedig oddi wrthynt. Ond ar godiad haul, pan welsant y ffrydiau dwfr, canys nid ydoedd bell o dir Moab, a'i fod o liw 'r gwaed; (canys ar y cyfryw amser

---

* Bl. 895.

† Un cant o ŵyn, a chan mil o hyrddod neu feheryn, Hebraeg a'r Septuagint.

‡ Yr ymarferiad hwn o dorri i lawr, neu ddiwreiddio coed-ffrwythau, a waherddid mewn rhyfeloedd cyffredin, gan gyfraith Moses, Deut. xx. 19, 20, ac yn unig a ganiatteid gan Dduw yn yr amgylchiad neillduol hwn, pan gospwyd y Moabiaid, ac a'u torrwyd ymaith mewn modd anghyffredinol am eu drygioni. Gwel Jer. xlviii. 11, 12, 13, a chyffelyb brophwydoliaethau i'w herbyn. Ni allasai ddim, gan hynny, gyfiawnhau yr ymarferiad yma, ond neillduol orchymmyn Duw trwy ei brophwyd, megis yn yr amgylchiad hwn; yr hyn oedd ddigonol awdurdod i dorriad y fath gyfraith seremoniol.

yn enwedig y mae yn edrych yn goch o herwydd tywyniad yr haul arno;) hwy a ffurfiasant yn eu meddyliau gan-dybiau am sefyllfa eu gelynion, fel pe buasent wedi lladd eu gilydd oblegid eu syched, a bod yr afon yn rhedeg o'u gwaed hwynt. Pa fodd bynnag, wrth feddwl mai hyn oedd eu cyflwr, dymunasant ar eu brenin eu hanfon i yspeilio eu gelynion. Ar yr hyn yr aethant gyd â brys, megis oddi ar fantais a gawsent eisoes, ac a ddaethant i wersyll y gelyn. Ond eu gobaith a'u twyllodd hwynt, canys fel ag yr oedd eu gelynion yn sefyll o'u hamgylch, rhai o honynt a wnaed yn ddrylliau, eraill a wasgarwyd, a'r lleill a ffoisant i'w gwlad eu hun. A phan ddaeth y brenhinoedd i dir Moab, hwy a ddadymchwelasant y dinasoedd oedd ynddynt, a yspeiliasant eu maesydd, ac a'u difwynasant hwynt; gan eu llenwi o gerrig allan o'r afonydd, a thorri i lawr y goreuon o'u coed, a llenwi i fynu eu ffynhonnau dwfr, a dadymchwelyd eu muriau o'u sylfaeni. Ond brenin Moab pan erlidiwyd ef a oddefodd warchae ar ei ddinas, a phan welodd hi mewn perygl o'i dadymchwelyd trwy nerth, efe a wnaeth ruthr ar y gwarchaewyr â saith gant o wŷr, mewn trefn i dorri trwy wersyll y gelyn a'i wŷr meirch, ar yr ochr hynny ag yr oedd y wyliadwriaeth yn ymddangos yn fwyaf esgeulus: a phan, ar brofiad, na 's gallai fyned ymaith, efe a ddychwelodd i'r ddinas, ac a gyflawnodd weithred yn arwyddo anobaith, a'r cyfyngder mwyaf: canys efe a gymmerodd ei fab hynaf, yr hwn oedd i deyrnasu ar ei ol, a chan ei dderchafu i fynu ar y mur, fel y byddai 'n amlwg i bawb o'r gelynion, efe a'i hoffrymmodd megis aberth tanllyd i Dduw. Pan welodd y brenhinoedd hyn, hwy a dosturiasant wrth y cyfyngder oedd yn achos o hono, ac a gyffrowyd gymmaint fel y codasant y cynllwyn, a phob un a ddychwelodd i'w fangre ei hun. Felly Jehosaphat a ddaeth i Jerusalem, ac a barhaodd yno mewn heddwch; ond a fu byw ychydig ar ol yr ymgyrch hwn, ac yna efe a fu farw: wedi byw yn y cwbl drugain o flynyddau, a theyrnasu pump ar hugain.* Efe a gladdwyd yn anrhydeddus yn Jerusalem; canys efe a ddilynodd Ddafydd yn ei ymarferiadau oll.

## PENNOD IV.

*Am Jehoram, yr hwn a lywodraethodd ar ol Jehosaphat; hefyd am Joram, brenin Israel; a'r Gwyrthiau a wnaethpwyd gan y prophwyd Eliseus.*

YR oedd i Jehosaphat nifer liosog o blant, ond ei fab hynaf Jehoram a ordeiniodd i deyrnasu yn ei le ef;† yr hwn oedd ag iddo yr un enw a brawd ei fam, a deyrnasai ar Israel, mab Ahab. Yn awr, wedi i frenin Israel ddyfod yn ol o wlad Moab i Samaria, yr ydoedd gyd ag ef Eliseus y prophwyd, gweithredoedd yr hwn sydd arnaf chwant i fyned trostynt yn fanwl, canys y maent yn hynod ac yn haeddu eu hadrodd, fel y maent wedi eu gosod gennym i lawr yn y llyfrau cyssegredig.

Canys dywedant ddyfod gweddw Obadiah,‡ goruchwyliwr Ahab, atto ef; a dywedyd nad oedd yn anwybod iddo y modd y darfu i'w gwr gadw y prophwydi ag ydoedd i'w lladd gan Jezebel, gwraig Ahab; canys hi ddywedodd ddarfod iddo guddio cant o honynt, a benthycca arian i'w cynnal hwynt; a darfod ar ol marwolaeth ei gwr ei dwyn hi a'i phlant ymaith yn gaethion gan y gofynwyr; ac hi a ddeisyfodd arno drugarhau wrthi, ar gyfrif yr hyn a wnaethai ei gwr, a chaniattau iddi beth ymwared. A phan ofynnodd iddi beth oedd ganddi? hi ddywedodd, "Dim ond ychydig olew mewn ystên." Felly y prophwyd a barodd iddi fyned ymaith, a benthycca llawer o lestri gweigion gan ei chymmydogion: ac wedi cau o

* O'r flwyddyn 919 hyd 894. Cyn Crist.

† 1 Bren. xxii. 50.

‡ Am y ddynes hon a lefodd ar Eliseus, a'r hon yn ein Bibl ni, a elwir gwraig un o'r prophwydi, 2 Bren. iv. 1, nad ydoedd yn amgen na gwraig Obadiah, goruchwyliwr daionus Ahab, fel y dywed Josephus, a gadarnheir, fel y mae Dr. Hudson yn hyspysu i ni, gan y Deonglydd Caldeaidd, a chan y Rabbiniaid, ac eraill hefyd. Ac nid yw hynny yn annhebyg; ac y mae Josephus yn ei chwanegu yma, fod y dyledion hyn wedi ammodi am danynt gan ei gwr, i gynnal y can prophwyd hynny i'r Arglwydd, y rhai a borthodd efe o fesur y deg a deugain, mewn dwy ogof, yn nyddiau Ahab a Jezebel, 1 Bren. xviii. 4: pa ryw amgylchiad oedd yn dra addas i'r prophwyd Eliseus ei ystyried, a threfnu amddiffyn iddi, a'i galluogi i brynu ei hun a'i meibion o'r caethiwed, i ba un yr oedd dyledwyr analluog i dalu yn agored iddo gan gyfraith Moses, Lef. xxv. 39. Matth. xviii. 25, a'r hyn a wnaeth efe yn ganlynol, trwy gymmorth Duw, ar gost ei wyrthiau.

honi ddrws ei 'stafell, i dywallt olew iddynt i gyd, oblegid y llanwai Duw hwynt. Ac wedi i'r wraig wneuthur fel y gorchymmynasid iddi, a pheri i'w phlant ddwyn atti yr holl lestri, a'u bod yn llawn, hi a ddaeth at y prophwyd, ac a ddywedodd eu bod yn llawn; ar hynny efe a'i cynghorodd i werthu 'r olew, a thalu i'r echwynwyr yr hyn oedd ddyledus iddynt; oblegid y byddai beth yn weddill o'r olew, yr hyn a allai wneud defnydd o hono i ddiwallu ei phlant. Ac fel hyn y darfu i Eliseus dalu dyledion y wraig, a'i rhyddhau o'i blinder gan ei gofynwyr.

Eliseus * hefyd a ddanfonodd gennadwri gyd â brŷs at Joram, gan erchi iddo gymmeryd gofal at y lle hwnnw, oblegid fod rhai Syriaid yn aros mewn cynllwyn i'w ladd ef. Felly y brenin a wnaeth megis y cynghorodd y prophwyd ef, ac a ochelodd ei helwriaeth. Ac wedi i Benhadad fethu llwyddo yn ei waith o osod cynllwyn, yr ydoedd yn ddig wrth ei weision ei hun, megis pe buasent wedi bradychu ei amcan trwy ei ddatguddio i Joram; ac efe a ddanfonodd am danynt, ac a ddywedodd, eu bod yn fradychwyr ei ddirgel gynghorion, ac a fygythiodd eu rhoddi i farwolaeth; oblegid fod eu cyfryw arferion yn amlwg, am nad oedd wedi ymddiried ei ddirgel gynghorion i neb ond hwynt-hwy; ac etto 'r oedd wedi ei wneuthur yn adnabyddus i'w elyn. Ond un ag oedd yn bresennol a ddywedodd na ddylai gam-gymmeryd ei hun, na meddwl eu bod hwy yn datguddio i'w elyn anfon o hono ddynion i'w ladd ef: ond y dylai wybod mai Eliseus y prophwyd oedd yn datguddio y cwbl, ac yn agoryd iddo ei holl ddirgel gynghorion. Felly fe roddes orchymmyn iddynt anfon un i ddysgu gwybod ym mha ddinas yr oedd yn byw. Yn ganlynol, y rhai a anfonasid a ddygasant air mai yn Dothan yr ydoedd. O herwydd paham Benhadad a ddanfonodd lu mawr o filwyr i'r ddinas honno, gyd â meirch a cherbydau i gymmeryd Eliseus. A hwy a amgylchynasant y ddinas o bob tu liw nos, i'w gaethiwo yno. Ond pan ganfu gwas y prophwyd hyn yn y bore, a bod ei elynion yn dyfod i gymmeryd Eliseus, efe a ddaeth tan redeg a llefain allan mewn modd dychrynllyd arno, ac adrodd hynny iddo. Eithr efe a'i cyssurodd ef, ac a barodd iddo beidio ag ofni, ond diystyru 'r gelyn, ac ymddiried yngallu a gofal Duw trostynt: ac efe a erfyniodd ar Dduw ddangos i'w was ei allu a'i amddiffyn mor bell ag oedd bossibl, mewn trefn i'w ysprydoli â gobaith a chalondid. Yn ganlynol Duw a glybu weddi 'r prophwyd, ac a wnaeth i'w was weled lliaws o gerbydau a meirch o amgylch Eliseus, nes iddo ymadael a'i ofn, a'i wrolder a fywiogodd, ar yr olwg o'r rhai a dybiodd efe oedd yn dyfod i'w cynnorthwyo. Ar ol hyn Eliseus ymhellach a erfyniodd ar Dduw am dywyllu llygaid eu gelynion, a dodi megis

* Dr. Hudson, gyd â rheswm da, sy'n ammeu rhyw ddiffyg bychan yn y copiau presennol o Josephus, yn gymmwys o flaen y gwahan-ymadrodd hwn; a hynny yn bennaf ymherthynas i eglurdeb yr hanes a roddodd efe achos i ni ei ddisgwyl yn yr un blaenorol, ac at yr hwn yr ymddangosodd yn cyfeirio, pen. 8, ymherthynas i'r gwyrthiau hynod a wnaeth Eliseus, y rhai yn wir yn ein Biblau nid ydynt ychydig, 2 Bren. iv,---ix, ond o'r rhai y mae gennym amryw ar ol ynghopiau Josephus, yn bresennol. Ac nid yw'r anghysondeb canlynol yma, ag sy'n gorchymmyn i Joram gymmeryd gofal am y lle hwnnw, fel yn 2 Bren. vi. 10, pan nad oedd un lle pendant, yn ei bresennol gopiau, wedi ei grybwyll o'r blaen, yn cyttuno oll â'r anghyssylltiad rhagflaenol, fel ag y mae yn ein copiau eraill. Un o'r hanesion hynny a adewir ar ol yn bresennol, ydoedd yn sicr yn ei Feibl ef: fy meddwl yw, yr un hynny o iachau Naaman o'i wahanglwyf, 2 Bren. v, canys y mae efe'n amlwg yn ei olygu III. 11, lle y mae efe yn sylwi, "Fod gwahangleifion mewn amryw genhedlaethau, ac oeddynt er hynny mewn anrhydedd: ac nid yn unig yn rhydd oddiwrth ddirmyg a gocheliad eu cymdeithas, ond a oeddynt yn flaenoriaid ar luoedd, ac wedi ymddiried iddynt am swyddau uchel mewn llywodraethau gwladol; ac a gawsant y rhagorfraint o'u derbyn i leoedd cyssegredig a themlau." Ond yr hyn sy'n peri i mi ofidio fwyaf oblegid y diffyg o'r hanes honno, yngopiau presennol Josephus, yw hyn; fod gennym yma, fel y deallir yn gyffredin, un o'r anhawsderau mwyaf yn yr holl Feibl; fy meddwl yw, yr un hynny yn 2 Bren. v. 18, 19, lle y mae Naaman wedi ei wyrthiol iachâu gan brophwyd y gwir Dduw, ac iddo ar hyn addunedu, na fyddai iddo o hynny allan offrymmu poeth-offrwm neu aberthau i dduwiau eraill, ond i'r Arglwydd; ychwanega wedi, "Yn y peth hyn yr Arglwydd a faddeuo i'th was pan elo fy arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i; a phan ymgrymwyf finnau yn nhŷ Rimmon; pan ymgrymwyf yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd i'th was yn y peth hyn." Ac Eliseus a ddywedodd, "Dos mewn heddwch." Hyn sydd yn edrych fel caniattâd prophwyd i gyfrannogi o eilun-addoliaeth ei hun, o gydymffurfiad â llys eilun-addolgar. Y Septuagint yn ein copiau cyffredin a'i deallasant yn gwbl felly, gan arferyd y ferf ymgrymwyf am yr amser i ddyfod; er darfod i Theodoret ei gymmeryd, megis am yr amser a aeth heibio. A'r enwog Bochart a ddywed, ei fod yn yr iaith wreiddiol yn fwy priodol yn perthynu i'r amser a aeth heibio, Op. t. d. 892, 894, 898, ac yn unig yn cynnwys ei ddeisyfiad o faddeuant am yr hyn a wnaethai gynt, pan ydoedd yn eilun-addolwr tywyll; ac nid i gael ei esgusodi am unrhyw fath beth yn yr amser a ddeuai: caniattâd o'r hyn a ymddengys yn gwbl anghyson â'r Hen Destament a'r Newydd. Trueni mawr gan hynny ydoedd i gopiau Josephus fod mor ddiffygiol ar achos mor neillduol. Ac nid yw 'n annhebygol, am yr hyn a addawodd Josephus lefaru am dano yn ol llaw, V. 1, ymherthynas i felldith ail-adeiladwr Jericho, ond nid ydyw i'w gael yn ei waith presennol, fod yn cynnwys ynddo yr hyn sy'n eisiau yma ar yr achos o wyrthiau Eliseus yno, 2 Bren. ii. 18---20.

niwl o'u blaen fel na adnabyddent ef. Wedi i hyn gael ei wneuthur, efe a aeth i ganol ei elynion, ac a ofynodd iddynt, Pwy yr oeddynt yn dyfod i'w ymofyn? A phan attebasant, mai y prophwyd Eliseus, efe a addawodd ei draddodi iddynt, os canlynent ef i'r ddinas ym mha un yr ydoedd. Felly y dynion hyn a dywyllwyd yn y fath fodd gan Dduw yn eu golwg a'u meddwl, fel y dilynasant ef yn dra diwyd. A phan ddug Eliseus hwynt i Samaria, efe a orchymmynodd i Joram y brenin gauad y porth, ac felly gosod ei fyddin ei hun o'u hamgylch; ac a weddiodd ar Dduw i oleuo llygaid eu gelynion hyn,* a symmud y niwl o'u blaen hwynt. Yn ganlynol, pan ryddhäwyd hwynt o'r dallineb yr oeddynt tano, hwy a ganfuent eu hunain ynghanol eu gelynion. Ac fel yr oedd y Syriaid tan syndod dieithr a dychryn, yr hyn ni allent amgenach wrth reswm, oblegid tro mor rhyfedd a ddaethai arnynt wrth drefn rhagluniaeth; ac megis y gofynnodd y brenin Joram i'r prophwyd, a fynnai efe iddo saethu attynt; Eliseus a waharddod iddo hynny; ac a ddywedodd, fod yn gyfiawn lladd y rhai a gymmerid mewn brwydr; ond na wnaethai y dynion hyn ddim niweid; ond ddyfod o honynt yno heb yn wybod iddynt, trwy waith Duw. Felly ei gyngor ef ydoedd i ymddwyn yn haelionus tu ag attynt wrth ei fwrdd; ac yna eu hanfon ymaith heb eu niweidio. Am hynny Joram a ufuddhaodd i'r prophwyd; ac wedi porthi y Syriaid mewn modd caredig, efe a'u hanfonodd at Benhadad eu brenin.†

Yn awr, wedi i'r dynion hyn ddyfod yn ol, a dangos i Benhadad y fath dro dieithr a ddigwyddasai iddynt, ac fel y profasant allu Duw Israel, efe a ryfeddodd wrtho; ac hefyd wrth y prophwyd hwnnw, gyd â pha un yr oedd Duw mor amlwg yn presennoli ei hun. Felly efe a fwriadodd na wnai ymosodiadau dirgel ymhellach yn erbyn brenin Israel, oddiar ofn Eliseus; ond a ymroddodd i wneuthur rhyfel cyhoeddus â hwynt; gan feddwl y byddai rŷ galed i'w elynion â lliosogrwydd ei ryfelwyr a'i rymmusder. Felly efe a wnaeth ymgyrch â byddin fawr yn erbyn Joram; yr hwn ag efe yn barnu ei hun yn analluog i'w wrthwynebu, a gauodd ei hun i fynu yn Samaria, gan hyderu ar gadernid ei muriau. Ond Benhadad a feddyliodd y gallai gymmeryd y ddinas; os nid trwy beiriannau rhyfel, etto y gorfyddai y Samariaid trwy newyn, a diffyg o angenrheidiau: felly efe a ddygodd ei luoedd arnynt, ac a warchaeodd ar y ddinas. A digonoldeb angenrheidiau a ddygwyd i radd mor isel gyd â Joram, fel trwy eithaf prinder, yr oedd pen asyn yn cael ei werthu am bedwar ugain darn o arian; a'r Hebreaid a brynasant sextari o dom colommennod, yn lle halen, am bum darn o arian. Yn awr, yr ydoeddJoram mewn arswyd rhag i ryw un fradychu y ddinas i law y gelyn oblegid newyn; ac efe beunydd a aeth o gwmpas y muriau a'r wyliadwriaeth, i edrych a oedd neb tebygol i'r cyfryw yn llechu yn eu mysg; a thrwy gadw golwg fel hyn arnynt, efe a'u difuddiodd o gyfleusdra i gyflawni y fath beth. Ar un dydd wrth lef rhyw wraig a waeddodd allan, "Tosturia wrthyf fy arglwydd;" efe a dybiodd ei bod ynghylch gofyn rhyw beth i'w diwallu; ac efe a alwodd ar Dduw i'w cheryddu; gan ddywedyd, nad oedd ganddo ef lawr-dyrnu na gwinwryf, o ba rai y gallai gyfrannu iddi ar ei deisyfiad. Ar hyn hi ddywedodd, nad oedd yn gofyn ei gynnorthwy y modd hynny, nac yn ei flino am ymborth; ond yn dymuno gwneuthur o hono gyfiawnder iddi ymherthynas i wraig arall. Ac wedi gorchymmyn iddi adael iddo wybod ei deisyfiad, hi a ddywedodd, Iddi gyttuno â gwraig arall o gymmydoges a chyfeilles iddi; o herwydd mor drwm oedd y newyn, i ladd eu plant, ac â bachgen gan bob un o honynt, a byw arnynt tros ddeuddydd; y dydd cyntaf ar un mab, a'r llall ar y mab arall: "Ac," ebe hi, "mi a leddais ‡ fy mab y dydd cyntaf, a ni a fuom fyw ddoe arno; ond

* 2 Bren. vi. 20.

† Ar yr achslysur o'r weithred hon o eiddo Eliseus yn Josephus, galiwn sylwi, er fod Josephus yn caru 'r gwir gymmaint a neb yn y byd, etto, mewn rhyfeloedd cyfiawn, fe ymddengys heb ganddo un math o bettrusder, trwy bob dyfais a dichell, i dwyllo gelynion cyhoeddus. Gwelwch hanes y Josephus hwn am dwyll Jeremiah i wŷr mawr yr Iuddewon yn y cyffelyb amgylchiad, X. 7. Gwelwch ef hefyd, VII. 9. A gwelwch ein Bibl ein hunain, 2 Sam. xvi. 16. &c. a'r xvii. 1---16, 20.

‡ Hyn a fygythid fel cospedigaeth am anufudd-dod yn Lef. xxvi. 29. a Deut. xxvii. 53, 57.

y wraig arall hon ni wna yr un peth, ond a dorrodd y cyttundeb, ac a guddiodd ei mab." Yr hanes yma a gyffrödd y brenin mor fawr, fel y rhwygodd ei ddillad, ac y gwaeddodd allan â llef uchel: a chan deimlo ynddo ddigter mawr yn erbyn Eliseus y prophwyd, efe a fwriadodd gael o hono ef ei ladd; o herwydd na weddiasai efe ar Dduw am drefnu rhyw ffordd o ymwared iddynt o'r trueni oedd yn eu hamgylchu. Yn ganlynol, danfonwyd cennad yn ddioed i ladd y prophwyd: ond nid oedd Eliseus yn anhysbys o lid y brenin i'w erbyn. Canys fel ag yr oedd yn eistedd yn ei dŷ, wrtho ei hun, ac heb neb ond ei ddisgyblion o'i amgylch, efe a ddywedodd wrthynt, Fod Joram,* yr hwn oedd fab i lofrudd, wedi danfon un i gymmeryd ei ben ef ymaith. "Ond," eb efe, "pan ddel yr hwn a orchymmynwyd iddo wneuthur hynny yma, cymmerwch ofal na adawoch iddo ddyfod i mewn; ond gwasgwch y drws i'w erbyn, a deliwch ef yn dynn yno; canys y brenin ei hun a'i dilyn ef, ac a ddaw attaf fi wedi cyfnewid ei feddwl. Yn ganlynol, hwy a wnaethant fel y parwyd iddynt, wedi i'r hwn a anfonasai 'r brenin i ladd Eliseus ddyfod yno. Ond Joram a edifarhaodd am ei lidiowgrwydd yn erbyn y prophwyd; a rhag ofn i'r neb a orchymmynasid ei ladd ef wneuthur hynny cyn iddo ei hun ddyfod yno, efe a frysiodd i ragflaenu ei fwriad. A phan ddaeth, efe a feiodd arno, am na weddiasai ar Dduw am waredigaeth o'r trueni yr oedd y bobl yn gorwedd tano, ond yn edrych ar eu difetha gan eu cyfyngderau. Ar hyn Eliseus a addawodd, y dydd nesaf, ar yr un awr o hono ag y daeth y brenin atto ef, y byddai ganddynt ddigonedd o luniaeth; y gwerthid dau sat† o haidd er sicl yn y farchnad; a sat‡ o beilliedd a brynid er sicl. Y rhagfynegiad yma a wnaeth i Joram, a'r rhai oedd yn bresennol, lawenychu yn fawr; canys ni rusasant gredu yr hyn a ddywedodd y prophwyd, o herwydd y profiad oedd ganddynt o'i ragfynegiadau o'r blaen. A'r disgwyliad o lawnder a wnaeth yr eisiau yr oeddynt ynddo, y dydd hwnnw, a'r anesmwythder oedd yn ei ddilyn, ymddangos yn ysgafn iddynt. Ond cadben y drydedd fintai, yr hwn oedd barchus gyd â'r brenin, ac ar law pa un y pwysai, a ddywedodd, "Yr wyt yn siarad pethau anghredadwy, O brophwyd! canys peth amhossibl yw i Dduw dywallt i lawr ffrydiau o haidd, neu beillied o'r nefoedd: felly y mae 'n amhossibl i'r hyn a ddywedaist ti ddyfod i ben:" I'r hyn y gwnaeth y prophwyd yr attebiad hwn, "Wele ti a'i gweli â'th lygaid, ond ni chei yn yr hyn lleiaf gyfrannogi o hono."

Wedi i Eliseus ragddywedyd hyn, daeth cyflawniad o hono o amgylch yn y drefn ganlynol. Yr ydoedd cyfraith yn Samaria,§ fod i'r rhai a fyddai a'r gwahanglwyf arnynt, a'u cyrph heb eu glanhau, aros y tu allan i'r ddinas. Ac yr oedd pedwar o wŷr y rhai ar y cyfrif yma oedd a'u trigfa o flaen y pyrth, ac heb neb yn rhoddi lluniaeth iddynt o herwydd y newyn. Ac fel y gwaharddid iddynt fyned i mewn i'r ddinas trwy 'r gyfraith; a hwy 'n gwybod pe caniattäid iddynt fyned yno mai marw a wnaent gan y newyn; megis hefyd, os arhosent lle 'r oeddynt, y dioddefent yn yr un modd; hwy a benderfynasant i roddi eu hunain i fynu i'w gelynion; fel os mewn modd yn y byd, yr arbedent hwy, mai byw a fyddent; ond os lleddid hwynt, mai marwolaeth esmwyth a fyddai. Felly wedi iddynt ymgadarnhau yn y bwriad hwn, hwy a ddaethant o hyd nos i wersyll y gelyn. Yn awr, Duw a gyffroisai ac a derfysgasai y Syriaid, trwy ddwyn sŵn cerbydau ac arfau rhyfel i'w clustiau, ac megis pe buasai byddin o wŷr yn dyfod ar eu gwarthaf hwynt; a pheri iddynt ddychymmygu eu bod yn dyfod nes-nes. Yn fyrr, yr oeddynt tan y fath ddychryn

* Y mab i lofrudd hwn ydoedd Joram, fab Ahab, yr hwn Ahab a laddodd, neu a ganiattaodd i'w wraig Jezebel ladd prophwydi'r Arglwydd a Naboth, 1 Bren. xviii. 4. xxi. 19, ac efe a elwir yma wrth ei enw, debygaf, o herwydd iddo ef hefyd, yn awr, ei hunan anfon swyddog i'w fwrddro ef. Etto y mae hanes Josephus am Joram yn dyfod o'r diwedd atto ei hun, megis yn edifar ganddo am ei fwriadol greulondeb, yn llawer tebyccach i fod, na 'r cyfrif a roddir yn ein copiau ni, 2 Bren. vi. 23, yr hwn sy 'n hytrach yn arwyddo i'r gwrthwyneb. Gwel y lle ag sy 'n ymddangos yn ammherffaith yn y copiau hynny.

† Ynghylch peccaid.

‡ Cylch hanner peccaid.

§ Y gyfraith hon o eiddo 'r Iuddewon, am gacad allan y gwahangleifion o'u gwersyll yn yr anialwch, ac o'u dinasoedd yn Judea, sydd ddigon hyspys i ddarllenwyr. Lef. xiii. 46. a Num. v. 1---4. Hynaf. III. 11. Gwelwch siamplau o'i hymarferiad parhaol. Num. xii. 10---14. 2 Bren. vii. 3. xv. 5. 2 Cron. xxvi. 21. Hynaf. IX. 10.

oblegid y fyddin ddychymmygol hon, fel y gadawsant eu pebyll, ac y cydredasant at Benhadad, gan ddywedyd, fod Joram, brenin Israel, wedi cyttuno am gynnorthwywyr, sef brenin yr Aipht, a brenin yr ynysoedd; a'i fod yn eu harwain, gyd â'i fyddin ei hun i'n herbyn; canys hwy a glywsant sŵn eu dyfodiad. A Benhadad a gredodd yr hyn a ddywedasant; (canys fe ddaeth yr un sŵn i'w glustiau ef, yn gystal a hwythau:) felly hwy a syrthiasant i annrhefn a therfysg mawr; a gadawsant eu meirch a'u hanifeiliaid yn y gwersyll, gyd â thrysorau anneirif hefyd, ac a gymmerasant eu ffoedigaeth ymaith. Gan hynny, pan ddaeth y gwahangleifion rhagddywededig i'r gwersyll, hwy a gawsant bob peth yn ddistaw ac yn llonydd. Yn ganlynol hwy a aethant gyd â brys i un o'r pebyll; a phan nas gwelsant neb yno, hwy a fwyttasant ac a yfasant, ac a ddygasant ymaith wisgoedd, a mesur mawr o aur, ac a'u cuddiasant y tu hwnt i'r gwersyll. Ar ol hyn hwy a aethant i babell arall, ac a ddygasant ymaith yr hyn oedd ynddi, megis y gwnaethant â'r gyntaf. A hyn a wnaethant bedair gwaith trosodd, heb yr aflonyddwch lleiaf. Hwy yn awr a ganfuant yn eglur fod y gelynion wedi ymadael ymaith; ac yr oeddynt yn beio eu hunain am na wnaethant Joram a'r dinasyddion yn hyspys o'r peth. Felly hwy a ddaethant at fur Samaria, ac a alwasant yn uchel ar y gwylwyr, ac a ddywedasant ym mha amgylchiad yr ydoedd y gelynion. Hyn a ddygwyd yn fuan at y brenin, yr hwn a ddanfonodd am ei gymdeithion, a chadbeniaid ei luoedd, ac a ddywedodd wrthynt, "Yr wyf tan amheuaeth fod yr ymadawiad hwn o frenin Syria wedi ei fwriadu mewn ffordd o gynllwyn a bradwriaeth; ac mai o anobaith i'ch difetha trwy newyn; pan ydych yn meddwl ffoi o honynt ymaith, y gwnewch fyned allan o'r ddinas i yspeilio eu gwersyll; ac yna y dichon efe syrthio arnoch yn ddisymmwth, a'ch lladd, a chymmeryd y ddinas heb ddim ymladd. O herwydd paham, fy nghyngor i yw ar i chwi yn ofalus wylio 'r ddinas, a pheidio mewn un modd fyned allan o honi, neu ddiystyru yn ymffrostgar eich gelynion, megis pe byddent wedi myned yn wirioneddol ymaith." Rhyw un a ddywedodd ei fod yn gwneuthur yn ddoeth trwy gynnwys y fath amheuaeth; ond ei fod ef er hynny yn ei annog i ddanfon cwpl o wŷr meirch i chwilio 'r holl wlad mor belled a'r Iorddonen; fel os goddiweddid hwy gan gynllwynwyr o'r gelynion, y byddent yn ddiogelwch i'r fyddin, fel y gallent fyned allan megis heb amheuaeth am ddim ganddynt, na myned tan yr un anhap: "Ac," eb efe, "gall y gwŷr meirch hyn gael eu cyfrif ym mysg y rhifedi a fuont feirw gan y newyn, a bwrw iddynt gael eu dal a'u difetha gan y gelyn." Felly y brenin a foddlonwyd â'r rhesymmau hyn, ac a ddanfonodd rai allan i chwilio 'r gwirionedd o'r achos hwn, y rhai a deithiasant ar hyd ffordd nad oedd un gelyn i'w ganfod ynddi; ond a'i cawsant yn llawn o luniaeth ac o arfau a daflasent ymaith a'u gadael o'u hol, mewn trefn i ysgafnhau eu hunain yn eu ffoedigaeth. Pan glybu 'r brenin hyn, efe a ddanfonodd allan y lliaws i gymmeryd yspail y gwersyll, pa ryw yspail nid ydoedd o ychydig werth, ond yn gynnwysedig o aur ac arian, a phob math o anifeiliaid. Hwy hefyd a berchennogasant eu hunain o gynnifer miloedd o fesurau o wenith a haidd, a'r nad oeddynt yn yr hyn lleiaf yn ei ddisgwyl; ac yr oeddynt nid yn unig wedi eu rhyddhau o'u cyfyngderau rhagflaenol, ond yr oedd ganddynt y fath lawnder, fel yr oedd dau sat o haidd yn cael ei brynu am un sicl, a sat o beillied am sicl, yn ol prophwydoliaeth Eliseus. Yn awr, y sat sydd gydradd a modius a hanner yr Itali. Cadben y drydedd fintai o filwyr oedd yr unig un na chafodd fudd oddiwrth y digonedd hwn. Canys yr oedd efe wedi ei appwyntio gan y brenin i olygu 'r porth, fel y cedwid y lliaws rhag gwasgu trwodd yn ormodol, a pheryglu bywydau eu gilydd: ond efe ei hun a ddioddefodd trwy hynny, ac a fathrwyd i farwolaeth, * fel y rhagddywedasai Eliseus, pan mai efe oedd yr unig un a anghredodd ei ddywediad ymherthynas i gyflawnder lluniaeth a gaent fwynhau ar fyrder.

Wedi i Benhadad ddiangc i Ddamascus, a deall mai Duw ei hun oedd wedi bwrw ei holl

* 2 Bren. vii. 20.

fyddin i annhrefn, ac na chyfodasai oddiwrth agosâd eu gelynion, yr oedd efe tan brudd-der mawr, wrth ystyried ei fod â Duw mor alluog yn elyn iddo, ac efe a syrthiodd trwy hynny mewn clefyd. Yn awr, fe ddigwyddodd fod Eliseus y prophwyd yr amser hwnnw wedi myned o'i wlad ei hun i Ddamascus; o'r hyn pan wnaethpwyd Benhadad yn hyspys, efe a ddanfonodd Hazael, un o'i weision ffyddlonaf, i'w gyfarfod ef, ac i ddwyn iddo anrhegion; a pheri ymofyn ag ef ynghylch ei afiechyd, a pha un a ddiangai ar y clefyd y bygythid ef ganddo. Felly Hazael a ddaeth at Eliseus â deugain o gamelod, yn llwythog o ffrwythydd goreu gwlad Damascus, yn gystal a'r rhai ag oedd tŷ 'r brenin yn ei roddi. Efe a'i cyfarchodd yn garedig, ac a ddywedodd ddarfod ei anfon atto gan y brenin Benhadad, a dwyn o hono anrhegion gyd ag ef, mewn trefn i ymholi ymherthynas i'w glefyd, a adferid ef o hono ai nis gwneid? Ar hyn y prophwyd a barodd iddo ddywedyd newyddion nid o natur alarus i'r brenin: ond er hynny dywedyd y byddai efe farw.§ Felly gwas y brenin a drallodwyd wrth ei wrando. Ac Eliseus a alarodd hefyd, a'i ddagrau a redasant i lawr, o herwydd ei ragwelediad o'r trueni a fyddai i'w bobl fyned tano yn ol marwolaeth Benhadad. A phan ofynodd Hazael iddo am yr achos o'i gyffro yr ydoedd tano; dywedodd yntau, "Tosturi tu ag at lïaws yr Israeliaid; ac ystyriaeth o'r blinderau echryslon a ddioddefant trwot ti: canys ti a leddi y rhai cryfaf o honynt, ac a losgi y dinasoedd cadarnaf â thân; a difethi eu gwragedd beichiogion, ac a darewi eu plant bychain ynghyd â'r meini." A phan ddywedodd Hazael, "Pa fodd y gall ddigwydd fod i mi feddiannu awdurdod digonol i wneuthur y fath bethau?" Attebodd y prophwyd, ddarfod i Dduw ddangos iddo ef y byddai efe yn frenin ar Syria. Felly pan ddaeth Hazael at Benhadad, dywedodd iddo newyddion da ymherthynas i'w glefyd.* Ond y dydd nesaf efe a daenodd frethyn gwlyb, fel rhwyd trosto ef; ac a gymmerodd iddo ei hun ei frenhiniaeth.† Yr ydoedd efe yn ŵr astud, ac yn meddiannu ewyllys da y Syriaid, a phobl Damascus: gan y rhai Benhadad ei hun, a Hazael, yr hwn a lywodraethodd ar ei ol ef, a anrhydeddir hyd y dydd hwn fel duwiau, o herwydd eu buddioldeb, a'u gwaith yn adeiladu temlau, trwy 'r hyn yr addurnasant ddinas y Damasciaid. Y maent hefyd gyd â rhwysg mawr yn talu eu beunyddiol addoliad ‡ i'r brenhinoedd hyn; ac yn parchu eu hynafiaeth. Ac ni wyddant fod y brenhinoedd yma lawer yn ddiweddarach nag y maent hwy yn dychymmygu; ac nad ydynt etto yn un cant ar ddeg mlynedd o oedran. Yn awr, pan glybu Joram fod Benhadad wedi marw, efe a adferwyd o'r dychryn oedd wedi ei feddiannu o'i blegid ef, ac a ydoedd yn dra chysurus ar gyfrif adferiad o heddwch.

## PENNOD V.

*Am annuwioldeb Jehoram, brenin Jerusalem; ei Oresgyniad a'i Farwolaeth.*

JEHORAM, brenin Jerusalem, nid cynt y cymmerodd y llywodraeth arno ei hun nag yr aeth ym mlaen i ladd ei frodyr a chymdeithaswyr ei dad, y rhai ydoedd lywodraethwyr tano ef; ac fel hyn a ddechreuoedd gyhoeddi ei ddrygioni.§ Ac nid oedd yn well oll na 'r bren-

* Gan na fu byw Elias ei hun i enneinio Hazael, brenin Syria, fel yr oedd ganddo awdurdod i wneuthur, 1 Bren. xix. 15. Hynaf. VIII. 13, mae 'n debygol ei wneud y pryd presennol, yn ei enw, gan ei was a'i ddilynwr mewn prophwydoliaeth, Eliseus. Ac nid yw 'n ymddangos i mi mewn modd amgen, na darfod i Benhadad iachau yn ddioed o'i glefyd, fel y rhagddywedasai y prophwyd; ac i Hazael, wedi ei enneinio i deyrnasu ar ei ol ef, er y dylasai aros iddo farw yn ol trefn natur, neu ryw fodd arall trwy ddwyfol gospedigaeth; megis y darfu i Ddafydd tros amryw flynyddau mewn cyffelyb amgylchiad, fod yn rhy fyrbwyll; a'r dydd nesaf efe a'i mygodd neu a'i tagodd ef mewn trefn i ddyfod yn union-gyrch i'r llywodraeth.

† 2 Bren. viii. 15.

‡ Yr hyn y mae M. Le Clerc yn ei houni yma, fod yn fwy tebygol mai Hazael a'i fab a addolid gan y Syriaid, a phobl Damascus, hyd ddyddiau Josephus, na Benhadad a Hazael; oblegid hwy a ddioddefasant yn fawr tan Benhadad; ac o herwydd ei fod yn agos yn anghredadwy fod brenin, a mwrddrwr brenin, yn cael eu haddoli gan yr un bobl, nid yw hyn oll ond o ychydig rym yn erbyn y tystiolaethau hynny, allan o ba rai y lluniodd Josephus ei hanes; yn enwedig pan y mae 'n debygol iddynt hwy feddwl i Benhadad farw o'r clefyd yr oedd ynddo, ac nid trwy ddwylaw Hazael; ac wedi i Selden grybwyll fod Benhadad ym mysg duwiau Syria. Heblaw hyn, y rheswm y mae Josephus yn ei roddi am yr addoliad hwn, fod y brenhinoedd hyn yn gyfranwyr mawr o roddion i drigolion Damascus, ac a adeiladasant iddynt demlau, sydd ry bellennig oddiwrth amheuon cyfrwysgall Le Clerc. Ac ni ddylai 'r fath amheuon gweiniaid gael eu hystyried â grym ynddynt yn erbyn tystiolaethau awdurdodol hynafiaeth.

§ Bl. 894 Cyn Crist.

binoedd hynny ar Israel, y rhai cyntaf a ddechreuasant droseddu cyfreithiau eu gwlad; ac yn erbyn addoliad Duw. Ac Athaliah merch Ahab oedd yr hon a briododd efe, yr hon a'i dysgodd mewn pethau eraill i fod yn ddyn drwg, ac hefyd i addoli duwiau dieithr. Yn awr, ni fynnai Duw lwyr ddiwreiddio y teulu yma, o herwydd yr addewid a wnaethai i Ddafydd. Pa fodd bynnag, ni adawodd Jehoram heibio ddwyn i mewn amryw fath o ddefodau i gynnyddu annuwioldeb, gyd â defodau ei wlad ei hun. Ac wedi i'r Edomiaid ynghylch y pryd hwnnw wrthryfela i'w erbyn, a lladd eu brenin blaenorol, yr hwn oedd ddarostyngol i'w dad, a gosod i fynu un o'u dewisiad eu hunain, Jehoram a oresgynnodd dir Edom, â'r gwŷr meirch a'r cerbydau oedd o'i amgylch, liw nos, ac a ddifethodd y rhai oedd yn gorwedd yn agos i derfynau ei wlad ei hun, ond nid aeth ym mlaen ymhellach. Pa fodd bynnag ni wnaeth ei ymgyrch un math o wasanaeth iddo, canys hwy oll a wrthsafasant i'w erbyn, ynghyd â'r rhai hynny yngwlad Libnah. Yr ydoedd yn wir mor wallgofus a chymmell y bobl i fyned i fynu i'r uchelfeydd yn y mynyddau i addoli duwiau dieithr.

Fel ag yr oedd yn gwneuthur y modd hwn, a bwrw ymaith o'i feddwl yn hollawl gyfreithiau 'r Hebreaid, dygwyd iddo epistol * oddiwrth y prophwyd Elias, ag oedd yn tystiolaethu y byddai i Dduw anfon barnedigaethau mawrion arno, o herwydd na ddilynasai ei dadau ei hun; ond a ddilynodd arferiadau annuwiol brenhinoedd Israel; a chymmell o hono lwyth Judah a dinaswyr Jerusalem, i ymadael ag addoliad sanctaidd eu Duw eu hunain, i addoli eilynod, fel y cymmellasai Ahab yr Israeliaid i wneuthur: ac o herwydd lladd o hono ei frodyr, a'r dynion hynny ag oedd gyfiawn. Y prophwyd hefyd a hyspysodd iddo yn yr epistol hwn, pa ryw gospedigaethau a ai efe tanynt, am y beiau hyn; sef dinystr ei bobl, gyd â llygriad ei wragedd a'i blant ei hun; ac y byddai ei hunan farw o gnofeydd yn ei ymysgaroedd, gyd â hir boenau; ei ymysgaroedd a dywelltid allan trwy rym ei ddolur yn ei rannau tufewnol; yn gymmaint ag y gwelai ei drueni ei hun, ni fyddai allnog i'w gynnorthwyo ei hunan; ond a fyddai farw yn yr amgylchiad hwnnw.

Nid hir y bu wedi hyn, nes i fyddin o'r Philistiaid, ac o'r Arabiaid hynny oedd yn byw yn agos i Ethiopia, oresgyn teyrnas Jehoram, ac a yspeiliasant y wlad, a thŷ 'r brenin. Hwy hefyd a laddasant ei wragedd a'i feibion, oddieithr un yn unig a ddiangodd, enw 'r hwn oedd Ahaziah. Ar ol y blinder hwn, efe ei hun a syrthiodd i'r afiechyd a ragddywedasai y prophwyd am dano, yr hwn a barhaodd † hir amser: (canys Duw a osododd y gosp hon arno oddi ar ei ddigter tu ag atto;) ac felly efe a fu farw yn druenus; ac a welodd ei ymysgaroedd ei hun yn syrthio allan. Y bobl hefyd a ddirmygasant ei gorph yn ol ei farwolaeth. Yr wyf yn tybied i hynny fod o herwydd meddwl o honynt ddyfod y fath farwolaeth iddo trwy farn Duw; ac am hynny nad oedd yn deilwng o'r fath angladd ag a weddai i frenhinoedd. Yn ganlynol ni ddarfu iddynt na'i gladdu ym meddrod ei dadau; na chaniattâu anrhydedd iddo, ond a'i claddasant fel dyn unigol: a hyn pan fuasai fyw ddeugain mlynedd, a theyrnasu wyth. ‡ A gwŷr Jerusalem a draddodasant y llywodraeth i'w fab Ahaziah.

## PENNOD VI.

*Am enneiniad Jehu; marwolaeth Joram ac Ahaziah; a chospedigaeth yr Israeliaid eilunaddolgar.*

YN awr, § Joram brenin Israel, ar ol marw Benhadad a obeithiodd gymmeryd Ramoth, dinas yn Gilead, oddiar y Syriaid. Yn ganlynol efe a wnaeth ymgyrch i'w herbyn, gyd â byddin fawr o wŷr. Ond fel ag yr oedd yn gwarchae arni, saethwyd atto ef gan un o'r Syriaid; ond

* Yr Epistol yma, yn rhai copiau o Josephus, a ddywedir ei ddyfod at Joram oddiwrth Elias, gyd â'r chwanegiad hwn, "canys yr oedd efe etto ar y ddaear;" yr hyn ni allai fod yn wir am Elias, yr hwn, fel y cyttuna pawb, ydoedd wedi myned oddiar y ddaear ynghylch pedair blynedd o'r blaen, ac a allai fod yn wir yn unig am Eliseus. Ac ysgatfydd nad oes mwy dirgelwch yma, nag i enw Elias mewn amseroedd gynt ymlusgo i mewn i'r gwaith yn lle Eliseus, trwy gam-gymmeriad y copiwyr; gan nad oes dim mewn un copi o'r epistol hwnnw perthynol i Elias.

† Dwy o flynyddoedd, 2 Cron. xxi. 19.

‡ O'r Fl. 895 hyd 887.

§ Bl. 856.

oedd yr archoll yn farwol. Felly efe a ddychwelodd i gael gwellhau ei glwyf yn Jezreel; ond a adawodd ei holl fyddin yn Ramoth, a Jehu mab Nimshi yn flaenor arnynt; canys yr oedd efe eisoes wedi cymmeryd y ddinas trwy drais: ac efe a fwriadodd wedi ei iachau wneuthur rhyfel â'r Syriaid. Ond Eliseus y prophwyd a anfonodd un o'i ddisgyblion i Ramoth i enneinio Jehu; ac i ddywedyd wrtho fod Duw wedi ei ddewis i fod yn frenin. Efe hefyd a'i hanfonodd i adrodd pethau eraill wrtho, gan beri iddo ddychwelyd oddiwrtho megis ar ffô; fel pan ddelai ymaith y diangai oddiwrth ei adnabod gan bawb. Felly pan ddaeth i'r ddinas efe a gafodd Jehu yn eistedd ynghanol cadbeniaid y fyddin; ac efe a ddywedodd ei fod yn dymuno cael siarad ag ef ynghylch rhyw fatterion neillduol. Ac wedi i Jehu ei ddilyn i ryw ystafell du-fewnol, y gwr ieuangc a gymmerodd yr olew sanctaidd ac a'i tywalltodd ar ei ben ef, ac a ddywedodd, Fod Duw yn ei ordeinio ef yn frenin, mewn trefn i ddifetha tŷ Ahab, ac fel y byddai iddo ddïal gwaed y prophwydi a dywalltwyd yn anghyfiawn gan Jezebel; ac felly y llwyr ddifethid eu tŷ hwynt, megis y difethwyd y rhai hynny o eiddo Jeroboam fab Nebat, a Baasha, am eu hannuwioldeb, ac na arhosai neb yn fyw ddim o had teulu Ahab. A phan ddywedodd hyn efe a aeth ar frys allan o'r ystafell honno, ac a geisiodd ochelyd i neb o'r fyddin ei weled ef.

Wedi i Jehu ddychwelyd i'r lle ag yr oedd o'r blaen yn eistedd ynddo gyd â'r cadbeniaid, hwy a ofynasant iddo i ba ddiben y daethai y dyn ieuangc hwnnw atto? a chwanegasant ddywedyd mai un gwallgofus ydoedd: efe a attebodd, "Yr ydych yn dyfalu yn gywir; canys y geiriau a ddywedodd oeddynt eiriau dyn gorphwyllog. Ac fel yr oeddynt yn daer ynghylch yr achos, ac yn dymuned iddo ei egluro iddynt; attebodd yntau, ddarfod i Dduw ddywedyd, ei fod wedi ei ddewis yn frenin ar y llïaws. Wedi iddo ddywedyd hyn, pob un o ddiosgasant* ei wisg, ac a'u taenasant tano ef, gan chwythu yn yr udgyrn, a chyhoeddi Jehu yn frenin. Felly wedi casglu o hono y fyddin ynghyd, efe a ymbarottodd yn ddioed i fyned allan yn erbyn Joram yn ninas Jezreel; ym mha ddinas, fel y dywedasom o'r blaen, yr oedd yn ymiachau o'r briw a gawsai wrth warchae ar Ramoth. Digwyddodd hefyd fod Ahaziah, brenin Jerusalem, wedi dyfod yn awr at Joram; (canys mab ei chwaer ef ydoedd, fel y dywedasom eisoes,) i weled pa fodd yr ydoedd ar ol ei glwyfo, a hynny ar gyfrif eu perthynas. Ond fel yr oedd Jehu yn ewyllysio gwneud ymosodiad buan ar Joram a'i gymdeithion, efe a ddymunodd na ddiangai neb o'r milwyr ymaith i ddywedyd i Joram yr hyn a ddigwyddodd; oblegid y byddai hyn yn dystiolaeth amlwg o'u caredigrwydd iddo ef, a dangosiad o'u hewyllysgarwch i'w wneuthur yn frenin.

Felly hwy a gydsyniasant â'i amcanion ef, ac a wyliasant y ffyrdd,† rhag i neb yn ddirgel ddwyn hyspysrwydd i'r rhai oedd yn Jezreel. Yn awr Jehu a gymmerodd ei ddewis wŷr meirch, ac a eisteddodd ar ei gerbyd i fyned tu a Jezreel. A phan oedd yn nesâu yno, y gwyliwr, yr hwn a osodasai Joram i ddal sulw ar y rhai a ddeuai i'r ddinas, a ganfu Jehu yn dyfod ym mlaen, ac a fynegodd i Joram ei fod yn canfod llu o wŷr meirch. Efe yn ganlynol a roddes orchymmyn, fod i un o'i farchogion ef gael ei ddanfon i gyfarfod â hwynt, ac i wybod pwy ydoedd yr hwn oedd yn agoshau. Felly pan ddaeth y negeseuwr at Jehu, efe a ofynnodd iddo ym mha amgylchiad yr oedd y fyddin? oblegid fod y brenin yn ewyllysio ei wybod. Ond Jehu a barodd iddo na chyffyrddai â'r fath fatterion; ond iddo ei ddilyn ef. Pan welodd y gwiliwr hyn, efe a ddywedodd i Joram, fod y gennad wedi ymgymmysgu â'r ymdeithwyr, ac yn cyd-nesâu yno â hwynt. Ac wedi i'r brenin ddanfon ail negeswr, Jehu a orchymmynodd iddo ef wneud yr un modd a'r blaenaf. A chyn gynted ag y mynegodd y gwiliwr hyn i Joram, efe o'r diwedd a gymmerodd ei gerbyd ei hun, a chyd ag ef Ahaziah, brenin Jerusalem: canys fel y dywedasom o'r blaen, yr ydoedd

* Spanheim sydd yn sylwi yma, am y diosgiad hwn o wisgoedd dynion a'u taenu hwynt o'dan y brenin, mai arferiad gwledydd y dwyrain ydoedd, yr hyn a eglurodd mewn lle arall.

† Bl. 855.



JEHU COMMANDING JEZEBEL TO BE THROWN DOWN FROM THE PALACE.

*Published by J. & J. Cundee, Albion Press London _ 1812.*

wedi dyfod i Jezreel i ymweled â Joram yn ol ei archolli, ac ef yn berthynas iddo. Felly efe a aeth i gyfarfod Jehu, yr hwn oedd yn myned yn araf,* ac mewn trefn reolaidd. A phan gyfarfu Joram ef ym maes Naboth, efe a ofynodd iddo, a oedd pob peth yn dda yn y gwersyll? Ond Jehu a'i hattebodd ef yn ddigllon, gan alw ei fam yn ddewines a phuttain. Ar hyn y brenin, gan ofni ei amcanion ef, a drodd ei gerbyd o amgylch mor gyflym ag a fedrai; ac a ddywedodd wrth Ahaziah, "Fe ymleddir i'n herbyn â thwyll, ac â bradwriaeth." Ond Jehu gan dynnu yn ei fŵa a'i tarawodd ac a'i lladdodd ef, a'r saeth wedi myned trwy ei galon. Felly Joram a syrthiodd i lawr yn ddisymmwth, ac a roddodd i fynu 'r yspryd. Jehu hefyd a orchymmynodd i Bidcar, cadben y drydedd ran o'i fyddin, i fwrw'r corph marw i faes Naboth; gan goffâu iddo brophwydoliaeth Elias wrth Ahab ei dad, wedi iddo ladd Naboth, y byddai iddo ef a'i deulu gael eu difetha yn y lle hwnnw; canys fel ag yr oeddynt hwy yn sefyll y tu ol i gerbyd Ahab, hwy a glywsent y prophwyd yn dywedyd hynny wrtho; ac yr oedd wedi dyfod o amgylch yn ol ei brophwydoliaeth. Wrth gwymp Joram, Ahaziah a ddychrynodd am ei fywyd ei hun, ac a drodd ei gerbyd i ffordd arall, trwy feddwl na chanfyddid ef gan Jehu. Ond efe a ddilynodd ar ei ol ef, ac a'i goddiweddodd mewn esgynle, lle y tynnodd yn ei fŵa ac y clwyfodd ef. Felly efe a adawodd ei gerbyd, ac a ffodd oddiwrth Jehu i Megido; ac er ei fod tan law meddyg, efe a fu farw o'i archoll ym mhen ychydig amser; ac a ddygwyd i Jerusalem i'w gladdu yno, ar ol iddo deyrnasu un flwyddyn, a phrofi yn waeth dyn na 'i dad o'r blaen.

Pan ddaeth Jehu i Jezreel, Jezebel a addurnodd ei hun, ac a safodd ar dŵr, gan ddywedyd, "Mai gwas gwych ydoedd efe yr hwn a laddodd ei feistr." A phan edrychodd efe i fynu arni, gofynodd iddi pwy ydoedd, a gorchymmynodd iddi ddyfod i wared atto ef. O'r diwedd efe a barodd i'r eunuchiaid ei bwrw i lawr oddi ar y tŵr: ac wrth ei bwrw i lawr, ei gwaed a daenellwyd ar y mur, a sathrwyd arni gan y meirch, ac felly y bu farw. Wedi gwneuthur hyn, Jehu a aeth i mewn i'r palas gyd â'i gymdeithion, a chymmerasant beth lluniaeth ar ol eu hymdaith. Efe hefyd a archodd i'w weision gymmeryd Jezebel ymaith a'i chladdu, o herwydd ei pherthynas i delu ardderchog, a'i disgyniad o frenhinoedd. Ond y rhai a orchymmynwyd iddynt ei chladdu, ni chawsant yn weddill o'i chorph ond y rhannau allanol yn unig, canys y cwbl o'r rhannau eraill a fwyttasid gan gŵn. Pan glybu Jehu hyn, efe a ryfeddodd wrth brophwydoliaeth Elias, a ragddywedasai† y difethid hi y modd hwn yn Jezreel.

Yn awr, yr ydoedd i Ahab ddeg a thrugain o feibion, y rhai a ddygid i fynu yn Samaria. Felly Jehu a ddanfonodd ddau o epistolau; un at y rhai a ddygai y plant i fynu, a'r llall at lywodraethwyr Samaria; yn erchi iddynt osod i fynu y gwrolaf o feibion Ahab i fod yn frenin; oblegid fod ganddynt hwy amldra o gerbydau, a meirch, ac arfau, a byddin o filwyr, a dinasoedd caerog; fel trwy wneuthur felly y dialent fwrddrad eu harglwydd. Hyn a ysgrifennodd i wybod amcanion y rhai hynny o Samaria. Yn awr, wedi i'r llywodraethwyr, y rhai a ddygasant y plant i fynu ddarllen y llythyrau, yr oeddynt tan ofn: a chan ystyried eu llwyr anallu i'w wrthwynebu ef, yr hwn a ddarostyngasai eisoes ddau o frenhinoedd cryfion, dychwelasant yn attebiad, eu bod yn ei addef ef yn arglwydd; ac y byddai iddynt wneuthur pa beth bynnag a osodai arnynt. Felly efe a ysgrifennodd yn ol, i orchymmyn iddynt dorri pennau meibion Ahab, a'u danfon iddo ef. Yn ganlynol y llywodraethwyr a anfonasant am y gwŷr a ddygai i fynu feibion Ahab, ac a archasant iddynt dorri eu pennau, a'u danfon i Jehu. Hyn yn ganlynol a wnaethpwyd, a'r pennau a ddodid i

*Ein copiau eraill a ddywedant, fod gyrriad y cerbydau yn debyg i yrriad Jehu, mab Nimshi, am ei fod yn gyrru yn ynfyd. 2 Bren. ix. 20. pan y mae copi Josephus, fel ag yr oedd efe yn ei ddeall, yn dywedyd y gwrthwyneb. Yr oedd Jehu yn ymdaith yn araf ac yn drefnus. Ac ni ellir ei wadu, yn gymmaint a bod amser ddigon i'r brenin Joram i ddanfon dau genhadwr, y naill ar ol y llall at Jehu, a myned ei hunan o'r diwedd, gyd ag Ahazia i'w gyfarfod; a hyn oll wedi dyfod o hono o fewn i olwg y gwiliwr, a chyn ei ddyfod i Jezreel; y tebygolrwydd o hono sydd yn fawr o du copi Josephus, neu ei ddeongliad.

† Gwel. Llyfr VIII. pen. 13.

fynu mewn basgedau o wïael, ac a ddanfonwyd i Jezreel. A phan gafodd Jehu, fel yr oedd yn swppera gyd a'i gymdeithion, wybod fod pennau meibion Ahab wedi eu dwyn i'r ddinas, efe a orchymmynodd wneuthur dau bentwr o honynt, un wrth bob porth; ac yn y bore efe a aeth allan i'w gweled hwynt; ac wedi eu gweled efe a ddechreuodd ddywedyd wrth y bobl oedd yn bresennol, iddo yn sicr wneud ymgyrch yn erbyn ei feistr Joram, a'i ladd ef; ond mai nid efe a laddasai y rhai hynny oll. Ac efe a ddymunodd iddynt wneud sulw, mai ymherthynas i deulu Ahab, pob peth a ddaethai i ben yn gyttûn a phrophwydoliaeth Duw, a'i dŷ a difethwyd fel y rhagddywedodd Elias.* Ac wedi iddo ymhellach ddinystrio holl garennydd Ahab a gafwyd yn Jezreel, efe a aeth i Samaria. Ac fel yr ydoedd ar y ffordd, efe a gyfarfu â pherthynasau Ahaziah, brenin Jerusalem, ac a ofynodd iddynt i ba le yr oeddynt yn myned? Atteb asant eu bod yn dyfod i gyfarch Joram, a'u brenin eu hunain Ahaziah: canys ni wyddent ladd o hono hwynt bob un. Felly Jehu a orchymmynodd eu cymmeryd a'u lladd hwynt y rhai oeddynt mewn nifer yn ddau a deugain o bersonau.

Ar ol hyn cyfarfu ag ef ŵr cyfiawn, enw yr hwn oedd Jehonadab; a'r hwn gynt a fuasai yn gyfaill iddo. Efe a gyfarchodd Jehu ac a ddechreuodd ei ganmol, o herwydd iddo wneuthur pob peth yn ol ewyllys Duw, yn diwreiddio tŷ Ahab. Felly Jehu a ddymunodd arno ddyfod i fynu i'w gerbyd, a gwneuthur ei ddyfodiad i mewn gyd ag ef i Samaria; gan ddywedyd wrtho nad arbedai un dyn annuwiol, ond y cospai y gau brophwydi, a'r gau offeiriaid; a'r rhai oedd yn twyllo'r lliaws, ac yn eu perswadio i ymadael ag addoliad yr Hollalluog, ac i addoli duwiau dieithr; a'i fod yn beth tra odiaethol a dymunol yngolwg dyn cyfiawn i weled y rhai drygionus yn cael eu cospi. Felly Jehonadab wedi ei berswadio trwy y rhesymmau hyn, a aeth i mewn i gerbyd Jehu, ac a ddaeth i Samaria. A Jehu a geisiodd allan holl gymdeithion Ahab, ac a'u lladdodd hwynt. A chan ewyllysio na fyddai i neb o'r gau brophwydi, nac offeiriaid duw Ahab ddiangc rhag cospedigaeth, efe a'u daliodd hwynt trwy ddichell yn y modd canlynol:— Efe a gasglodd ynghyd yr holl bobl, ac a ddywedodd, "yr addolai efe gymmaint ddwywaith o dduwiau ag a addolodd Ahab; ac efe a archodd i'w brophwydi, a'i offeiriaid, a'i weision fod yn bresennol; oblegid yr offrymmai efe aberthau mawrion a chostfawr i dduw Ahab: ac os bydd neb o'i offeiriaid yn eisiau y cospid hwy â marwolaeth. Yn awr, duw Ahab a elwid Baal; ac wedi iddo appwyntio diwrnod ar yr hwn yr offrymmai iddo yr aberthau hyn; efe a anfonodd gennadau trwy holl wlad yr Israeliaid, fel y dygent offeiriaid Baal atto ef. Felly Jehu a orchymmynodd roddi i'r holl offeiriaid wisgoedd; ac wedi iddynt eu derbyn, efe a aeth i mewn i dŷ Baal, gyd â'i gyfaill Jehonadab; ac a barodd wneud ymofyniad a oedd dim dieithriaid yn eu mysg; canys ni fynnai fod i neb o wahanol grefydd gymmysgu ym mhlith eu swyddau cyssegredig. A phan ddywedwyd nad oedd yno ddim dieithriaid, a hwy yn cychwyn offrymmu eu haberthau, efe a osododd bedwar ugain o'i filwyr ffyddlonaf y tu allan i'r drysau, ac a barodd iddynt ladd y gau brophwydi, ac amddiffyn cyfreithiau eu gwlad, y rhai oeddynt tan amharch er's hir amser. Efe hefyd a fygythiodd os diangai un y byddai i'w bywyd eu hunain fyned yn eu lle hwynt. Felly hwy a'u lladdasant oll â'r cleddyf; ac a ddinystriasant dŷ Baal,† a thrwy'r moddion hynny a burasant Samaria oddiwrth eilun-addoliaeth. Yn awr, y Baal hwn ydoedd dduw'r Tyriaid; ac Ahab mewn trefn i foddhau ei dad-ynghyfraith, Ethbaal, yr hwn oedd frenin Tyrus a Sidon, a adeiladodd deml iddo yn Samaria; ac a appwyntiodd brophwydi iddo, gan ei addoli gyd â phob math o addoliad. Yr eilun hwn yn awr a ddifethodd Jehu, ond efe er hynny a ganiattaodd iddynt addoli yr anneirau auraidd. Pa fodd bynnag, am wneuthur y modd hwn â theulu Ahab, a chymmeryd gofal am gospi'r annuwiol, Duw a ragfynegodd trwy ei brophwyd, y byddai

* 2 Bren. x. 27.

† 2 Bren. x. 10.

i'w feibion deyrnasu ar Israel tros bedair o genhedlaethau.*

## PENNOD VII.

*Am Deyrnasiad Athaliah ar Jerusalem tros chwe' blynedd; ei chanlynol wrthodiad, a'i chospedigaeth gan Jehoiada yr archoffeiriad; a dyfodiad Jehoash mab Ahaziah i'r Frenhiniaeth.*

PAN glybu Athaliah, merch Ahab, am farwolaeth ei brawd Joram, a'i mab Ahaziah, ynghyd â'r brenhinol deulu, hi a ymdrechodd na fyddai i neb o dylwyth Dafydd gael aros yn fyw; ond bod i'w hiliogaeth gael eu llwyr ddifetha, ac na chyfodai un brenin oddiyno mwy. Ac hi a feddyliodd fod ei dymuniadau creulon yn cael eu cwbl gyflawni. Ond un o feibion Ahaziah a ddiangodd rhag marwolaeth yn y modd canlynol:—Yr oedd i Ahaziah chwaer o'r un tad, enw yr hon ydoedd Jehosheba, a hi a briodasid â'r archoffeiriad Jehoiada. Hi a aeth i mewn i dŷ 'r brenin, ac a gafodd yno Jehoash, canys dyna oedd enw y plentyn bychan, yr hwn nid oedd uwchlaw blwyddyn o oedran, ym mysg y rhai a laddesid, ond efe oedd guddiedig gyd â'i famaeth. Felly hi a'i cymmerodd i ystafell ddirgel, ac a gaudd arno ef yno; ac hi, a'i gwr Jehoiada, a'i dygasant i fynu yn y deml, tros chwe blynedd; † yn oed pa amser y teyrnasodd Athaliah tros Jerusalem, ac ar y ddau lwyth.

Yn awr, ar y seithfed flwyddyn, Jehoiada a wnaeth yr amgylchiad hwn yn hyspys i bump o gadbeniaid ar gannoedd; ac a'u perswadiodd i'w gynnorthwyo yn ei amcan yn erbyn Athaliah, ac uno ag ef i sicrhau 'r deyrnas i'r plentyn. Efe hefyd a dderbyniodd y fath lwon ganddynt, ag sydd berthynol i ddiogelu y rhai a ymgyssylltant i gynnorthwyo eu gilydd mewn rhyw achos, rhag ofn eu datguddio; ac yna yr ydoedd mewn gobaith da o ddiorseddu Athaliah. Yn awr y gwŷr hyn, y rhai a gymmerasai Jehoiada yr offeiriad yn gynnorthwywyr, a aethant trwy 'r holl wlad, ac a gynnullasant ynghyd yr offeiriaid, a'r Lefiaid, a phennau 'r llwythau o honi, ac a'u dygasant i Jerusalem at yr archoffeiriad. Felly efe a ofynodd ganddynt y sicrwydd o lw i gadw yn ddirgel pa beth bynnag a ddatguddiai efe iddynt, yr hyn oedd yn gofyn eu distawrwydd a'u cynnorthwy. Felly pan gymmerasant y llw, a'i wneud yn ddiogel trwy hynny iddo lefaru, efe a ddygodd ger eu bron y plentyn a ddygasai i fynu o dylwyth Dafydd, ac a ddywedodd wrthynt, "Dyma eich brenin, o'r teulu hwnnw, pa un a wyddoch i Dduw ragfynegi a fyddai i deyrnasu arnoch tros oesoedd i ddyfod. Yr wyf gan hynny yn eich cynghori, fod i'r unfed ran o dair o honoch ei wylied ef yn y deml; a bod i'r bedwaredd‡ wyliadwriaeth aros wrth y porth sydd yn agor ac yn tywys i lŷs y brenin. A bydded eraill o'r lliaws yn anarfog yn y deml; ac na fydded i neb yn arfog fyned i'r deml, ond yr offeiriad yn unig." Efe hefyd a orchymmynodd fod rhan o'r offeiriaid a'r Lefiaid o amgylch y brenin ei hun, a bod yn wylwyr iddo ef gyd â'u cleddyfau noethion; a lladd y dyn hwnnw yn union-gyrch, pwy bynnag a fyddai, a wnai mor hŷ a myned i mewn yn arfog i'r deml; a pheri nad ofnent neb; ond bod yn barhaus yn gwylied y brenin. Felly y gwŷr hynny a ufuddhasant i gyngor yr archoffeiriad; ac a ddangosasant ddifrifwch eu hymroad trwy eu gweithredoedd. Jehoiada hefyd a agorodd yr arfdy hwnnw a wnaethai Dafydd yn y deml; ac a ddosparthodd i gadbeniaid cannoedd, megis hefyd i'r offeiriaid a'r Lefiaid, yr holl waywffyn, y cewill saethau, ac arfau eraill ag oedd yn ei gynnwys, ac a'u gosododd yn arfog mewn cwmpas o amgylch y deml, fel ag i gyffwrdd y naill â dwylaw y llall, i luddias trwy hynny y rhai nid oedd gyfreithlon iddynt rhag myned i mewn i'r deml. Felly dygasant y plentyn i'w canol hwynt, ac a ddodasant y goron frenhinol ar ei ben ef; a Jehoiada a'i henneiniodd â'r olew, ac a'i cyhoeddodd yn frenin. A'r lliaws a orfoleddasant, ac a waeddasant allan, "Duw a gadwo 'r brenin."§

Pan glybu Athaliah yn annisgwyliadwy y llefau hyn, hi a derfysgwyd yn ei meddwl, ac a ruthrodd yn fyrbwyll allan o'r tŷ brenhinol, gyd

* Yr addewid yma a gyflawnwyd ym mhersonau Jehoahas, Jehoaz, Jeroboam II, a Zachariah.

† 2 Bren. xi. 3.

‡ Trydedd ran, Hebr. a'r Sept.

§ 2 Bren. xi. 12.

â'i milwyr ei hun o'i hamgylch; ac wedi ei dyfod i'r deml, yr offeiriaid a'i derbyniasant hi: ond am y rhai a safent o amgylch y deml, megis yr ordeiniwyd iddynt gan yr archoffeiriad, hwy a rwystrasant yr arfogion oedd yn ei dilyn hi rhag myned i mewn. Ond pan welodd Athaliah y plentyn yn sefyll i fynu ar golofn, a'r goron frenhinol ar ei ben, hi a rwygodd ei dillad, ac a lefodd allan yn wallgofus; ac a orchymmynodd i'w milwyr ladd yr hwn a osodasai faglau iddi, ac a ymdrechodd i'w difuddio o'r llywodraeth. Ond Jehoiada a alwodd ar gadbeniaid y cannoedd, ac a orchymmynodd i ddwyn Athaliah i ddyffryn Cedron, a'i lladd hi yno; canys ni fynnai efe i'r deml gael ei halogi â chospedigaeth y ddynes adwythig honno. Ac efe a roddes orchymmyn, os deuai neb yn agos i'w hamddiffyn hi, ei ladd yntau hefyd. O herwydd hynny y rhai oedd â gorchymmyn iddynt ei lladd, a'i dygasant at borth mulesau y brenin, ac a'i lladdasant yno.

Jehoiada yn awr a alwodd ynghyd y bobl a'r gwŷr arfog i'r deml; gan erchi iddynt wneuthur eu llw ar fod yn ufudd i'r brenin; a chymmeryd gofal am ei ddiogelwch, ac amddiffyniad y llywodraeth. Ar ol hyn efe a barodd i'r brenin roddi sicrwydd trwy lw ar fod iddo addoli Duw, ac na throseddai gyfreithiau Moses. Yna hwy a redasant i dŷ Baal, yr hwn a godasai Athaliah a'i gwr Jehoram, er dianrhydedd i Dduw eu tadau, i anrhydeddu Ahab, ac a'i dymchwelasant i lawr, ac a laddasant Mattan yr hwn oedd a'r offeiriadaeth ganddo. Ond Jehoiada a ymddiriedodd ofal a chadwedigaeth y deml i'r offeiriaid a'r Lefiaid, yn ol ordeiniad Dafydd; ac a archodd iddynt ddwyn eu poeth offrymmau rheolaidd, ddwywaith yn y dydd, ac offrymmu arogldarth yn ol y gyfraith. Efe hefyd a ordeiniodd rai o'r Lefiaid, a'r porthorion, i fod yn wylwyr y deml, fel na fyddai i neb a halogwyd ddyfod i mewn yno.

Pan ddarfu i Jehoiada ddodi'r pethau hyn mewn trefn, efe gyd â'r cadbeniaid ar gannoedd, a'r pennaethiaid, a'r holl bobl, a ddygasant Jehoash allan o'r deml, i dŷ'r brenin; ac wedi iddo ei osod ar orseddfaingc y brenin, y bobl a floeddiasant o lawenydd, ac a gadwasant wyl tros amryw ddiwrnodiau. Ond fe lonyddodd y ddinas ar farwolaeth Athaliah. Yn awr Jehoash ydoedd saith mlwydd o oedran pan feddiannodd y deyrnas. Enw ei fam ydoedd Zibiah, o ddinas Beersheba. A thros yr holl amser y bu fyw Jehoiada, Jehoash * a ofalodd am i'r cyfreithiau gael eu cadw, ac ydoedd dra difrifol yngwasanaeth Duw. A phan farnwyd ef mewn oedran, efe a briododd ddwy o wragedd, y rhai a drefnasid iddo gan yr archoffeiriad, o ba rai y ganwyd iddo feibion a merched.

## PENNOD VIII.

*Am ymgyrch Hazael yn erbyn pobl Israel, a phreswylwyr Jerusalem: marwolaeth Jehu, a llywodraethiad Jehoahaz; ymddygiad Jehoash brenin Judah, a dyfodiad Amaziah i'r llywodraeth.*

YN awr Hazael, brenin Syria, a ymladdodd yn erbyn yr Israeliaid, ac a anrheithiodd barthau dwyreiniol y wlad y tu hwnt i'r Iorddonen, y rhai a berthynai i'r Reubeniaid a'r Gadiaid, ac i hanner llwyth Manasse; megis hefyd Gilead a Bashan; gan losgi, yspeilio, a gwneuthur trais i bawb a allai osod ei ddwylaw arnynt; a hyn heb ddim gwrth-wynebiad oddiwrth Jehu, yr hwn ni wnaeth ddim brys i amddiffyn y wlad, pan oedd tan y trallodion hyn. Nag ê, yr oedd efe wedi dyfod yn ddirmygwr crefydd, ac yn ddiystyrwr sancteiddrwydd, a'r cyfreithiau; ac a fu farw wedi teyrnasu ar yr Israeliaid saith ar hugain † o flynyddoedd. Efe a gladdwyd yn Samaria, ac a adawodd ei lywodraeth i'w fab Jehoahaz.

Yn y cyfamser, brenin Judah ydoedd a thuedd ganddo i adgyweirio teml Dduw. Felly efe a alwodd am Jehoiada, ac a archodd iddo anfon Lefiaid ac offeiriaid trwy'r holl wlad, i ofyn hanner sicl o arian oddiwrth bob pen, tu ag at adnewyddu a chyweirio'r deml, yr hon a ddygwyd i adfeiliad tan Jehoram, Athaliah, a'i meibion. Ond ni wnaeth yr archoffeiriad hyn,

* 2 Bren. xii. 2.

† Wyth ar hugain, Heb. a'r Septu. o'r Fl. 883 hyd 857.

gan feddwl na fyddai neb yn ewyllysgar i dalu yr arian hynny. Ond yn y drydedd flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Jehoash, pan ddanfonodd y brenin am dano, ac am y Lefiaid, gan achwyn am na ddarfu iddynt ufuddhau i'r hyn a archodd efe iddynt; ac a'u cymhellodd ymhellach i ofalu am ail-adeiladu 'r deml; i ba ddiben efe a ddyfeisiodd y ffordd ganlynol i gasglu 'r arian. Efe a wnaeth gist o bren, yn gauedig o bob ochr, ond â thwll neu agoriad bychan yn ei chanol. Yna efe a'i gosododd yn y deml, o'r naill du i'r allor; gan gyfarwyddo pawb i fwrw i mewn yr hyn a welent yn gymmwys trwy 'r twll, tu ag at adgyweiriad y deml. Y ddyfais hon a fu gymmeradwy gan y bobl; a hwy a ymrysonasant y naill â'r llall i fwrw i mewn iddi, ac a ddygasant ynghyd fesur mawr o aur ac arian.* Ac wedi i'r ysgrifenyddion a'r offeiriaid oedd yn olygwyr y drysorfa, waghau y gist, a chyfrif yr arian ymhresennoldeb y brenin, yna y gosodent hi yn ei lle dechreuol: a hyn a wnaethant yn feunyddiol. Ond wedi ymddangos ddarfod i'r lliaws gasglu i mewn gymmaint ag oedd yn eisiau; yr archoffeiriad Jehoiada a'r brenin Joash a ddanfonasant i gyflogi seiri coed a cherrig, ac i brynu prennau helaeth, ac o'r rhyw goreu. Ac ar ol iddynt adgyweirio 'r deml, hwy a wnaethant ddefnydd o'r gweddill o aur ac arian i wneuthur noĉau, cawgiau, cwppanau, a llestri eraill; a hwy a aethant beunydd ym mlaen i gyfoethogi 'r allor ag aberthau o werth mawr a offrymmid arni.

Ym mhen ychydig amser ar ol hyn Jehoiada a fu farw, wedi byw un cant a deg ar hugain o flynyddau, wedi bod yn ddyn cyfiawn a da ym mhob ystyriaeth; ac efe a gladdwyd ym meddrod y brenhinoedd yn Jerusalem, o herwydd adferyd o hono y deyrnas i dylwyth Dafydd. Ar ol ei farwolaeth ef Jehoash a fradychodd ei ofal tros achos Duw; a phennaethiad y bobl a lygrwyd gyd ag ef; gan droseddu yn erbyn eu dyledswydd, a'r hyn ag oedd doethineb eu sefydliad wedi ei benderfynu er eu lleshâd. Ar hyn Duw a anfoddlonodd wrth y cyfnewidiad a ddigwyddodd yn y brenin, ac yn y lleill o'r bobl, ac anfonodd brophwydi i dystio iddynt am eu gweithredoedd, ac i'w hannog i adael eu hanwireddau heibio. Ond yr oedd ynddynt hwy y fath duedd gorwyllt tu ag attynt, fel na allai siamplau y rhai a ddirmygasant y cyfreithiau, a'r gospedigaeth erchyll a ddaeth arnynt, hwynt-hwy a'u teuluoedd; ac ni allai ofn yr hyn ag oedd y prophwydi yn ei fygythio i'w herbyn, eu dwyn i edifeirwch, a'u dychwelyd yn ol o'u gyrfa o droseddiad, at eu dyledswyddau cyntaf. Ond y brenin a orchymmynodd fod i Zachariah, mab yr archoffeiriad Jehoiada, gael ei labyddio i farwolaeth yn y deml; wedi anghofio y caredigrwydd a dderbyniasai gan ei dad ef. Canys pan osododd Duw ef i brophwydo, efe a safodd ynghanol y lliaws, gan eu cynghori hwy a'r brenin i weithredu yn gyfiawn; gan ragfynegi, mai os na wrandawent ei rybuddion, y dioddefent gospedigaethau trymion. Ond â Zachariah yn barod i ddioddef marwolaeth, efe a appeliodd at Dduw i fod megis yn dyst o'r hyn a ddioddefai, am y cyngor daionus a roddasai iddynt; ac fel yr oedd efe yn gorfod marw mewn modd mwy gerwin a chreulon am y gweithredoedd da a wnaethai ei dad i Jehoash.

Pa fodd bynnag, nid hir y bu cyn i'r brenin gael dioddef cospedigaeth am ei droseddiad. Canys pan wnaeth Hazael, brenin Syria, ruthr i mewn i'w wlad, ac wedi iddo ddadymchwel Gath, a'i hyspeilio, efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Jerusalem. Wrth hyn yr ydoedd Jehoash yn ofni, ac a waghaodd holl drysorau Duw, a'r eiddo 'r brenin o'i flaen; ac a dynnodd i lawr yr anrhegion a gyssegrasid yn y deml, ac a'u danfonodd i frenin Syria, ac a gynhôdd ynghyd gymmaint o honynt fel na chynllwynwyd ef, ac ni pheryglwyd yn fawr ei deyrnas; ond Hazael a berswadiwyd trwy helaethrwydd y swm o arian, i beidio a dwyn ei fyddin yn erbyn Jerusalem.† Etto Jehoash a syrthiodd i drwm glefyd, ac ymosodwyd arno gan ei gyfeillion, mewn trefn i ddial marwolaeth Zachariah fab Jehoiada. Y rhai hyn a osodasant faglau iddo, ac a'i lladdasant ef. Efe a gladdwyd yn Jerusalem,

* 2 Bren. xii. 9.

† 2 Bren. xii. 18.

ond nid yn meddrod brenhinol ei dadau, oblegid ei annuwioldeb. Efe a fu fyw saith a deugain o flynyddau; ac Amaziah ei fab a'i dilynodd ef yn llywodraeth y deyrnas. *

Yn yr unfed† flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Jehoash, Jehoahaz mab Jehu a gymmerodd arno lywodraeth yr Israeliaid yn Samaria, ac a'i cynnaliodd tros ddwy flynedd ar bymtheg. Ni ddarfu iddo yn gymmwys ddilyn ei dad, ond a ydoedd yn enog o'r fath arferion annuwiol a'r rhai cyntaf a ddirmygasant Dduw â'u heilunod. Ond brenin Syria a'i darostyngodd ef, a thrwy ymgyrch i'w erbyn a ddifethodd ei luoedd gymmaint, fel nad oedd ychwaneg yn weddill o'i fyddin na deng mil o wŷr traed, a deg a deugain o wŷr meirch. Efe hefyd a gymmerodd oddi arno amryw o'i ddinasoedd mawrion, ac a ddinystriodd ei fyddin. A dyma 'r pethau a ddioddefodd pobl Israel, yn ol prophwydoliaeth Eliseus, pan ragfynegodd y lladdai Hazael ei feistr, ac y teyrnasai ar y Syriaid a'r Damasciaid. Ond pan oedd Jehoahaz tan y fath flinderau anocheladwy, efe a ymroddodd i weddi ac i wneuthur ei erfyniadau at Dduw, gan attolygu iddo ei waredu allan o ddwylaw Hazael; a pheidio a'i anghofio, a'i roddi i fynu i'w awdurdod ef. Yn ganlynol fe dderbyniodd Duw ei edifeirwch; ac efe yn ewyllysio yn hytrach rybuddio y rhai a edifarhaent, na phenderfynu eu llwyr ddifetha hwynt, efe a ganiattaodd waredigaeth iddo oddiwrth ryfel a pheryglon. Felly y wlad wedi mwynhau heddwch, a ddychwelodd i'w chyflwr blodeuog o'r blaen.

Ar ol marwolaeth Jehoahaz,‡ ei fab Joash a gymmerodd arno y deyrnas, yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg o deyrnasiad Jehoash, brenin llwyth Judah; ac efe a feddiannodd y llywodraeth un mlynedd ar bymtheg. Yr ydoedd efe yn ddyn da, § ac heb fod o gyffelyb duedd a'i dad mewn un modd. Yn awr yr amser hyn ydoedd pan aeth brenin Israel i ymweled ag Eliseus y prophwyd, yr hwn ydoedd eisoes yn dra oedrannus, ac ydoedd yn awr wedi syrthio mewn clefyd; ac a'r brenin yn ei gael yn agos i farwolaeth, efe a ddechreuodd wylo o'i flaen ef a galaru, gan ei alw, Fy nhad, a'm harfogaeth; o herwydd mai trwyddo ef na wnaethai ddefnydd un amser o'i arfau yn erbyn ei elynion, heb fuddugoliaethu arnynt, trwy ei brophwydoliaethau ef, yn ddiymladd: a'i fod ef yn awr yn ymadael â'r bywyd hwn, ac yn ei adael ef i ymdrechu â'r Syriaid, y rhai oedd yn barod wedi ymwisgo ag arfau, gyd â gelynion eraill oedd tan eu hawdurdod. Felly efe a ddywedodd nad oedd diogelwch i'w einioes ef yn hwy, ond y byddai da iddo brysuro o'i ddiwedd, ac ymadael gyd ag ef allan o'r bywyd hwn. Fel yr oedd y brenin y modd hwn yn galaru o'i blegid ei hun, Eliseus a'i cyssurodd ef, ac a ddymunodd arno blygu bwa a ddygasid atto: a phan gymhwysodd y bwa i saethu, Eliseus a ymaflodd yn ei ddwylaw, ac a barodd iddo saethu. Ac wedi saethu tair saeth, ac yna ymattal, Eliseus a ddywedodd, "Pe saethasit ychwaneg o saethau, ti a dorrasit deyrnas Assyria i fynu o'r gwraidd; ond gan it foddloni ar saethu teirgwaith yn unig, ti a ymleddi ac a guri y Syriaid yn unig gynnifer o weithiau; fel yr ennillech yn ol y wlad honno a dorrasant ymaith yn nyddiau dy dad oddiwrth dy deyrnas." Felly pan glybu y brenin hynny, efe a ymadawodd; ac mewn ychydig o amser wedi, y prophwyd a fu farw. Yr oedd efe yn ŵr canmoladwy am gyfiawnder, ac yn uchel yn ffafr Duw; ac a wnaeth amryw bethau hynod trwy brophwydoliaeth, a'r fath a goffawyd yn barchus gan yr Hebreaid. Efe a

* 2 Bren. xii. 21.

† Y drydedd flwyddyn ar hugain, Heb. a'r Sept.

‡ Bl. 842.

§ Y geirda hwn am Joash, fab Jehoahaz, ei fod ef yn ddyn daionus, ac heb fod oll yn ei dueddrwydd yn debyg i'w dad, sy'n ymddangos yn gwrthwynebu yn gymmwys yr hyn y mae ein copiau yn ei grybwyll; y rhai a ddywedant, 2 Bren. xiii. 11, wneuthur o hono ddrwg yngolwg yr Arglwydd; ac nad ymadawodd efe â holl bechodau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu. Pa gopiau sydd gywiraf yma anhawdd yw penderfynu. Os dywed Josephus y gwir, y Joash hwn yw yr unig siampl o frenin daionus ar y deg llwyth. Os y lleill sydd wir, nid oes gennym unrhyw brawf am y cyfryw un. Yr hanes sy 'n canlyn yn yr holl gopiau o ofal y prophwyd Eliseus am dano, ac yntau am y prophwyd, sy 'n ffafrio yn fawr gopiau Josephus, ac yn bwrw fod y brenin hwn y pryd hynny yn ddyn da, ac nid yn eilun-addolwr; â pha rai ni arferai prophwydi Duw fod yn gymdeithasgar. Ar y cwbl, gan ei fod yn ymddangos, ie wrth hanes Josephus ei hun, fod Amaziah brenin daionus Judah, tra fu efe yn frenin da, gael ei wahardd i wneud defnydd o 10,100 o gynnorthwywyr, a gyflogasai gan y Joash hwn, frenin Israel: a phe buasai efe a hwynt-hwy yn eilun-addolwyr; IX. 9. 2 Cron. xxv. 5--9, y mae 'n dra thebygol, am y gwahanol gyfrif o ymddygiad Joash, ei fod yn golygu gwahanol rannau ei lywodraeth; ac yn ol ein copiau cyffredin, yr ydoedd ar y dechreu yn frenin drwg; ac yn ol hynny efe a ddiwygiwyd, ac a ddaeth yn frenin daionus, yn ol adroddiad Josephus.

gladdwyd yn anrhydeddus, ac yn y fath fodd ag oedd yn gweddu i un a garwyd mor rhagorol gan Dduw. Digwyddodd hefyd y pryd hwnnw, fel ag y darfu i ryw yspeilwyr fwrw dyn a laddasant i mewn i fedd Eliseus; ac ar gyffyrddiad y corph marw â chorph Eliseus, efe a adfywiodd drachefn.* Ac mor bell a hyn y cawsom helaethu ynghylch gweithredoedd Eliseus y prophwyd; sef, yr hyn a wnaeth tra fu efe byw, a'r modd yr oedd rhinwedd ddwyfol yn dyfod oddiwrtho ar ol ei farwolaeth hefyd.

Yn awr, ar farwolaeth Hazael brenin Syria, y deyrnas honno a syrthiodd i Adad ei fab, â'r hwn y gwnaethpwyd rhyfel gan Joash brenin Israel: ac wedi iddo ei orchfygu mewn tair o frwydrau, efe a gymmerodd oddiwrtho ef yr holl wlad honno, ynghŷd â'r dinasoedd a'r pentrefi, y rhai a ddygasai ei dad Hazael oddiwrth deyrnas Israel; yr hyn a ddigwyddodd yn gyttûn â phrophwydoliaeth Eliseus. Ond pan ddaeth amser marwolaeth Joash, efe a gladdwyd yn Samaria, a'r llywodraeth a ddisgynnodd ar ei fab Jeroboam.

## PENNOD IX.

*Am Ymgyrch Amaziah yn erbyn yr Edomiaid a'r Amaleciaid; ei orchfygu yn y rhyfel canlynol yn erbyn Joash, brenin Israel; a dyfodiad Uzziah i'r frenhiniaeth.*

YN yr eilfed flwyddyn o deyrnasiad † Joash ar Israel, Amaziah a deyrnasodd ar lwyth Judah yn Jerusalem. Enw ei fam ydoedd Jehoadan, yr hon a anwyd yn Jerusalem. Efe ydoedd dra gofalus am wneud yr hyn oedd uniawn, a hynny pan ydoedd yn dra ieuangc. Ond pan ddaeth efe i drefnu matterion gwladol a llywodraethol, efe a gafodd yn ei feddwl yn gyntaf i ddial ei dad Jehoash, a chospi y rhai a osodasent ddwylaw creulondeb arno. Felly efe a'u daliodd hwynt oll, ac a'u dododd i farwolaeth: etto ni wnaeth efe un math o doster â'u plant, ond a ymddygodd yn hynny yn ol cyfraith Moses, yr hwn ni thybiodd yn gyfiawn gospi plant am bechodau eu ‡ rhieni. Yn ol hyn efe a ddewisodd fyddin o lwyth Judah a Benjamin, o'r cyfryw ag oedd ym mlodau eu hoedran, ac ynghylch ugain mlwydd o oedran. Ac wedi cynnull ynghylch tri chan mil o honynt ynghyd, efe a osododd gadbeniaid ar gannoedd trostynt hwy. Efe hefyd a anfonodd at frenin Israel, ac a gyflogodd gan' mil o'i filwyr ef, am gan' talent o arian; canys efe a ymroisai i wneuthur ymgyrch yn erbyn cenhedlaethau yr Amaleciaid, Edomiaid, a'r Gebaliaid. Ond fel yr oedd efe yn parottoi i'r ymgyrch hwn, ac yn barod i fyned allan i'r rhyfel, prophwyd a'i cynghorodd ef i ddodi ymaith fyddin yr Israeliaid, o herwydd drygioni ei dynion, ac o blegid i Dduw ragfynegi y gorfyddid ef, os gwnai ddefnydd o honynt hwy fel cynnorthwywyr; ond y gorfyddai efe ei elynion, er na fyddai ganddo ond ychydig wŷr, pan ryngai hynny fodd Duw. A phan ddadleuodd y brenin ynghylch ei fod eisoes wedi talu swm y cyflog, y prophwyd a'i cynghorodd i wneud yr hyn a fynnai Duw iddo; o herwydd y byddai iddo trwy hynny feddiannu llawer o gyfoeth gan Dduw. Felly efe a'u hanfonodd hwynt ymaith, ac a ddywedodd ei fod yn gadael eu cyflog yn rhad iddynt; ac efe a aeth gyd â'i fyddin ei hun, ac a wnaeth ryfel â'r cenedlaethau rhagddywededig; ac wedi eu gorchfygu hwynt mewn brwydr, efe a laddodd o honynt ddeng mil, ac a gymmerodd gynnifer yn fyw o garcharorion; y rhai a ddygodd at y graig fawr yr hon sydd yn Arabia, ac a'u taflodd trosti bendramwnwgl i lawr. Efe hefyd a ddug ymaith lawer o ysglyfaeth, a chyfoeth anneirif oddi ar y cenhedloedd hynny. Ond tra 'r oedd Amaziah yn rhwym yn yr ymgyrch hwnnw, yr Israeliaid hynny a gyflogasai ac a ollyngasai ymaith, oeddynt dra anesmwyth; a chan gymmeryd eu gwrthodiad yn achlysur i ymrafael, gan dybied na wnaethid hyn iddynt ond o ddirmyg, hwy a oddiweddasant ei deyrnas; ac a aethant ym mlaen i yspeilio 'r wlad mor belled â Bethhoron, gan gymmeryd llawer o anifeiliaid, a lladd tair mil o ddynion.

Mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth a gawsai Amaziah, a'r gweithredoedd mawrion a wnaethai, efe a ymchwyddodd, ac a ddechreuodd fod yn

* 2 Bren. xiii. 21.

† Bl. 840.

‡ Deut. xxiv. 16.

anystyriol o Dduw a roddasai iddo y fuddugoljaeth; ac a aeth ym mlaen i addoli y duwiau a ddygasai o wlad yr Amaleciaid. Felly daeth prophwyd atto ac a ddywedodd, ryfeddu o hono pa fodd y cyfrifai y rhai'ny yn dduwiau, y rhai ni fuasent o ddim lleshad i'w pobl eu hun, oedd yn eu hanrhydeddu hwynt, ac na waredasai hwynt o'i ddwylaw ef; ond a oeddynt yn ddiamddiffyn iddynt rhag y distryw a ddaeth ar lawer o honynt, a ddioddefasant eu dwyn ymaith yn gaethion; canys hwy a ddygasid i Jerusalem yn yr un dull a phe buasai rhai yn cymmeryd gelynion, a'u harwain yno yn fyw. Y cerydd yma a gynhyrfodd y brenin i ddigter; ac efe a orchymmynodd i'r prophwyd ddistewi, gan fygwth ei gospi os soniai am ei ymddygiadau ef. Felly efe a attebodd yr ymattaliai efe rhag dywedyd yn rhagor; ond a ragfynegodd, na edrychai Duw heibio yr ymgais yma at wrthgiliad. Amaziah, pa fodd bynnag, ni allai i gynnwys ei hun tan y llwyddiant a roddasai Duw iddo, er ei ddigio trwy hynny. Ond mewn gwythen o falchder efe a ysgrifennodd at Joash, brenin Israel; yn gorchymmyn iddo ef â'i holl bobl ufuddhau iddo, fel y buasent gynt yn ufudd i'w hynafiaid, Dafydd a Solomon; a rhoddi ar ddeall iddo, os na fyddai mor gall a gwneud yr hyn yr oedd yn ei orchymmyn, fod yn rhaid iddo ymladd tros ei lywodraethau. Ar hyn Joash a ddychwelodd iddo yn ysgrifen, yr attebiad canlynol.

Y BRENIN JOASH AT Y BRENIN AMAZIAH.

"Yr ydoedd cypreswydden dra uchel ym mynydd Libanus, ac hefyd ysgellyn: Yr ysgellyn yma a ddanfonodd at y cypreswydden, am roddi o honi ei merch yn briodaswraig i fab yr ysgellyn. Ond fel yr oedd yr ysgellyn yn dywedyd hyn, daeth anifail gwyllt heibio, ac a'i sathrodd i lawr. A hyn a all fod yn wers i ti, i beidio bod mor rhyfygus; ond i gymmeryd gofal, rhag oddiar dy lwyddiant yn ymladd â'r Amaleciaid y tyfech mor falch, ag i ddwyn peryglon arnat dy hun, ac ar dy deyrnas.*"

Pan ddarllennodd Amaziah y llythyr hwn, yr oedd yn fwy tanbaid i fyned a'i ymgyrch ym mlaen: yr hyn yr ydwyf yn tybied ydoedd o oddefiad Duw fel y cospid ef am ei drosedd i'w erbyn. Ond cyn gynted ag yr arweiniodd ei fyddin allan yn erbyn Joash, a hwy yn myned i gyssylltu 'r frwydr, fe syrthiodd y fath ddychryn ar fyddin Amaziah, ag y mae Duw, pan anfoddloner ef, yn arferol o ddanfon ar ddynion, ac yn eu gorfod hwynt cyn y nesaont i ymladd. Yn awr, fe ddigwyddodd, fel yr oeddynt wedi eu gwasgaru o amgylch trwy 'r dychryn a'u goddiweddodd hwynt, i Amaziah gael ei adael yn unig, a'i gymmeryd yn garcharor gan y gelyn. Ar yr hyn Joash a fygythiodd ei ladd ef, oddieithr iddo berswadio pobl Jerusalem i agor eu pyrth a'i dderbyn ef a'i fyddin i mewn i'r ddinas. Yn ganlynol Amaziah ydoedd yn y fath gyfyngder, ac ofn am ei fywyd, fel y parodd i'w elyn gael ei dderbyn i'r ddinas. Felly Joash a ddymchwelodd ran o'r mur, o gan' cufydd o hyd, ac a yrrodd ei gerbyd trwy y rhwygiad hwnnw i mewn i Jerusalem, ac a arweiniodd Amaziah yn gaethwas gyd ag ef. Trwy ba foddion y meistrolodd ar Jerusalem; gan gymmeryd ymaith drysorau Duw, ac a ddug gyd ag ef yr holl aur a'r arian oedd ym mhalas y brenin, ac yna a'i rhyddhaodd ef o'i gaethiwed, ac a ddychwelodd i Samaria.† Yn awr, y pethau hyn a ddigwyddasant i bobl Jerusalem yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg o dernasiad Amaziah: yr hwn yn ol hyn a gydfradwriaethwyd i'w erbyn gan ei gyfeillion, ac a ffodd i ddinas Lachish, ym mha le y lladdwyd ef gan ei fradychwyr. Felly hwy a gymmerasant i fynu ei gorph marw ac a'i dygasant i Jerusalem ac a wnaethant angladd brenhinol iddo. Hyn a fu diwedd bywyd Amaziah, o herwydd newidiad ei grefydd, a'i ddirmyg ar Dduw; wedi iddo fyw bedair ar ddeg a deugain o flynyddau, a theyrnasu naw ar hugain.‡ Ac a ddilynwyd yn y llywodraeth gan ei fab Uzziah.

## PENNOD X.

*Am fatterion Jeroboam, brenin Israel; Jonah y Prophwyd; Zechariah mab Jeroboam; ac Uzziah, brenin Jerusalem.*

* 2 Bren. xiv. 9, 10.

† 2 Bren. xiv. 11, 13.

‡ O'r Fl. 840 hyd 811

YN y bymthegfed flwyddyn o deyrnasiad Amaziah, Jeroboam mab Joash a deyrnasodd ar Israel,* yn Samaria. Y brenin a fu'n euog o ddiystyrwch † yn erbyn Duw; ac a dyfodd yn dra annuwiol yn addoliad delwau, ac mewn llawer o ymarferiadau anweddus a drwg; trwy'r hyn y bu'n achlysur i ddeng mil o drallodion ddyfod ar bobl Israel. Yn awr, un Jonah, y prophwyd, a ragfynegodd y byddai iddo wneuthur rhyfel â'r Syriaid, a buddugoliaethu ar eu byddin, a helaethu terfynau ei deyrnas o du'r gogledd, hyd ddinas Hamath; ac o du'r dehau hyd y llyn Asphaltites; canys terfynau y Canaaneaid gynt ydoedd y rhai hyn; ac fel y pennododd Joshuah, prif drefnwr yr Hebreaid, hwynt. Felly Jeroboam a wnaeth ymgyrch yn erbyn y Syriaid, ac a oresgynnodd eu holl wlad hwynt, megis y rhagddywedasai Jonah.

Yn awr, nis galliaf amgen na 'i farnu 'n angenrheidiol i ddesgrifio gweithrediadau y prophwyd hwn, cyn belled ag yr wyf wedi eu cael yn ysgrifenedig yn y llyfrau Hebraeg.—Jonah a orchymmynasid iddo gan Dduw i fyned i deyrnas Ninefah; ac i gyhoeddi yn y ddinas honno y modd y collai yr arglwyddiaeth oedd ganddi ar y cenhedloedd. Ond nid aeth yno o herwydd ei ofn; nag ê, efe a redodd ymaith oddiwrth Dduw i ddinas Joppa;‡ ac wedi cael llong yno, efe a aeth i mewn iddi, ac a hwyliodd i Tarsus§ yn Cilicia. Ac ar gyfodiad tymmestl ofnadwy, yr hon oedd mor fawr a bod y llong mewn perygl o suddo, pennaeth y llong, y llywydd, ynghydâ'r morwyr a wnaethant weddiau ac addunedau, fel y cedwid eu bywydau. Ond Jonah oedd yn gorwedd yn llonydd, wedi ei orchuddio yn y llong, heb ddilyn dim o arferiad y rhai hynny. Ond fel yr oedd y tonnau yn cynnyddu, a'r mor yn myned yn fwy terfysglyd gan y gwyntoedd, hwy a feddyliasant, fel y mae 'n arferol yn y fath amgylchiad, fod rhyw un o'r personau oedd yn mordwyo gyd â hwynt yn achos o'r dymmestl, ac a gyttunasant i ddatguddio trwy fwrw coelbren pa un o honynt ydoedd. Wedi iddynt fwrw coelbrennau,‖ syrthio a wnaeth ar y prophwyd. A phan ofynasant iddo o ba le y daethai, a pha beth oedd wedi ei wneuthur? Attebodd mai Hebread o genedl ydoedd, a phrophwyd yr Hollalluog Dduw; ac efe a'u perswadiodd hwynt i'w fwrw ef i'r môr, os mynnent ddiangc rhag y perygl yr oeddynt hwy ynddo, oblegid mai efe oedd yr achos o'r dymmestl. Yn awr, ar y cyntaf ni feiddiant wneuthur hynny, megis yn waith drwg yn eu golwg fwrw dieithr-ddyn a ymddiriedasai ei fywyd i'w gofal, i'r fath ddistryw anesgorol. Ond o'r diwedd, pan oedd eu llong ar fyned yn ddrylliau, gan ddarfod eu cymmell i wneuthur hynny gan y prophwyd ei hun, a chan ofn am eu bywydau, hwy a'i bwriasant i'r môr; ac ar hyn y dymmestl yn ebrwydd a lonyddodd. Dywedir hefyd i Jonah gael ei lyngcu gan forfil; ac wedi ei fod felly dri diwrnod, a chynnifer o nosweithiau, efe a fwriwyd allan o fol y morfil ar lann môr Euxine, heb iddo ddioddef dim niweid. Ac yno ar ei weddi at Dduw, efe a gafodd faddeuant o'i bechodau,

* 2 Bren. xiv. 22

† Yr hyn a grybwyllais o'r blaen ymherthynas i Jehoash, a ymddengys yn wir hefyd am ei fab Jeroboam II. sef, er iddo ddechrau yn annuwiol, fel y mae Josephus yn cyttuno â'n copiau eraill; ac, fel y mae Josephus yn chwanegu, ydoedd yr achos o ddyfod nifer mawr o groesau ar yr Israeliaid, yn ei flynyddoedd cyntaf hynny, (yr hanes neillduol o ba rai sy'n eisiau yn Josephus, ac yn ein holl gopiau;) felly y mae 'n ymddangos gael o hono ef wedi hynny ei ddiwygio, a dyfod o hono yn frenin da; ac felly a annogwyd gan y prophwyd Jonah, ac a gafodd lwyddiant mawr yn ol hynny; pan achubodd Duw 'r Israeliaid trwy law Jeroboam, mab Joash, 2 Bren. xiv. 27. pa ryw annogaeth oddiwrth Jonah, a'i fawr lwyddiant, sydd o gydradd hynodrwydd yn Josephus, ac mewn copiau eraill.

‡ Jonah i. 3.

§ Pan ddywedir am Jonah yn ein Biblau, iddo fyned i Tharshish; Josephus a ddeallodd fyned o hono i Tarsus yn Cilicia, neu i Fôr y Canoldir, ar ba un yr oedd Tarsus yn gorwedd. Felly nid yw efe yn ymddangos megis wedi darllen y testyn, 1Bren. xxii. 48. megis yn ein copiau ni, y gallai llongau o Tharshish orwedd yn Ezion Geber, ar y Môr coch. Gwel y nôd ar IX. 1. Ond am adroddiad Josephus, fod y pysgodyn a dderbyniodd Jonah, wedi ei ddwyn gan nerth y ffrwd a'r dymmestl, cyn belled a Môr Euxine, nid yw mewn un modd yn amhossibl. A chan y gallai 'r dymmestl yrru'r llong, tra 'r oedd Jonah ynddi, yn agos i Fôr yr Euxine hwnnw; ac mewn tri ychwaneg o ddyddiau y bu efe ym mol y pysgodyn, y gallai'r ffrwd neu 'r llifeiriant ei ddwyn i duedd Assyria; a'r tuedd hwnnw yn nes i Ninefah nac un cwrr o Fôr y Canoldir, nid yw'r penderfyniad yn Josephus mewn un modd yn annhebygol.

‖ Y rhan hynafol yma o grefydd, yn bwrw fod rhyw bechod mawr lle byddai cystudd anarferol; ac o fwrw coelbrennau i ddatguddio pechaduriaid mawrion, nid yn unig ym mysg yr Israeliaid, ond ym mhlith y morwyr cenhedlig hyn, a ymddengys yn nôd hynod o draddodiad hynafiaethol, ag oedd wedi ymdanu er yr amseroedd gynt tros holl ddynolryw, fod rhagluniaeth yn arferol o weithredu yn weledig ym mhob achosion tymmorol; ac heb fyth ddwyn o amgylch, neu o'r hyn lleiaf hir barhau barnedigaethau trymion, ond am ryw bechodau mawrion; yr hyn y mae llyfr hynafiaethol Job yn arwyddo fod cyflwr dynolryw tros ynghylch y 3000 blynyddoedd cyntaf o'r byd, hyd ddyddiau Job a Moses.

ac a aeth i ddinas Ninefah; lle y safodd fel y gellid ei glywed; ac a bregethodd, mai ym mhen ychydig amser y collent arglwyddiaeth ar Asia. Ac wedi cyhoeddi hyn efe a ddychwelodd. Yn awr, mi roddais y cyfrif hwn am dano fel y mae'n ysgrifenedig yn ein llyfrau ni.

Wedi i Jeroboam y brenin deulio ei fywyd mewn dedwyddwch mawr, a llywodraethu ddeugain mlynedd,* efe a fu farw, ac a gladdwyd yn Samaria; a'i fab Zechariah a feddiannodd y deyrnas. Yn yr un modd y dechreuodd Uzziah, fab Amaziah, deyrnasu ar y ddau lwyth yn Jerusalem. Yr oedd efe yn ddyn da, ac wrth natur yn ddewrwych, ac yn dra llafurus yn ei ofal am achosion y deyrnas. Efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn y Philistiaid, ac a'u gorchfygodd mewn brwydr, ac a gymmerodd ddinasoedd Gath a Jabneh, ac a dynnodd i lawr eu caerau. Yn ol pa ryw ymgyrch efe a ymosododd ar yr Arabiaid hynny ag oedd yn cyssylltu â'r Aipht. Efe hefyd a adeiladodd ddinas wrth y Môr coch, gan osod gwersyll ynddi; ac wedi dadymchwel yr Ammoniaid, ac ordeinio iddynt dalu teyrnged, efe a ddarostyngodd yr holl wledydd cyn belled a therfynau 'r Aipht. Ac yna efe a ddechreuodd ofalu am Jerusalem tros weddill ei fywyd. Canys efe a ail-adeiladodd ac a adgyweiriodd y rhannau hynny o'r mur a syrthiasai i lawr trwy feithder amser, neu trwy esgeulusdra y brenhinoedd o'r blaen; yn gystal a'r holl le hwnnw a fwriwyd i lawr gan frenin Israel, pan ddug † efe ei dad ef Amaziah yn garcharwr, ac a aeth ag ef i mewn gyd ag ef i'r ddinas. Ymhellach, efe a adeiladodd amryw dyrau, o gant a deg a deugain cufydd o uchder; ac a adeiladodd drefydd caerog mewn mannau yn y diffeithwch, gan osod gwersylloedd ynddynt; torrodd hefyd ffosydd mawrion er cyfleusdra i rediad dyfroedd. Yr oedd ganddo amryw fath o ysgrubliaid at lafurio, a rhifedi mawr o anifeiliaid, canys ei wlad oedd fanteisiol at borfeydd; a chan ei fod yn hoffi hwsmonaeth, efe a ofalodd i lafurio 'r ddaear, a'i phlannu gyd â phob math o blanhigion, a'i hau â phob rhyw hadau. Yr oedd ganddo hefyd o'i amgylch fyddin yn gynnwysedig o dri chant a deg a thrugain o filoedd o wŷr dewisol, y rhai a flaenorid gan ddwy fil o uwch-swyddogion a chadbeniaid ar filoedd, y rhai oeddynt wŷr grymmus, ac o nerth anorchfygol. Efe hefyd a rannodd ei holl fyddin yn lluoedd arfog, gan roddi cleddyf i bob un, gyd ag astalch a dwyfronneg o bres, a bwäau, a ffyn tafl; ac heblaw y rhai hyn efe a wnaeth iddynt amryw beiriannau rhyfel i warchae ar ddinasoedd, y fath ag a daflent gerrig a saethau, bachau, ac offerynnau dinystriol o'r fath.

Tra 'r oedd Uzziah ‡ yn yr amgylchiad hwn, yn gwneuthur arlwyadau erbyn amser i ddyfod, efe a lygrwyd yn ei feddwl gan falchder, § ac a dyfodd yn drahaus, ar gyfrif yr amldra oedd ganddo o bethau ag oedd yn fuan i ddarfod; ac a ddiystyrodd y cyfoeth hwnnw ag sydd o dragywyddol barhad, ac yn gynnwysedig mewn crefydd tu ag at Dduw, a'n sulw o'i gyfreithiau: felly efe a syrthiodd trwy 'r achlysur o lwyddiant ei achosion, ac a arweiniwyd yn ddiymattal i'r pechodau hynny o eiddo ei dadau, oddiwrth y rhai ni allodd gadw ei hun. Yn ganlynol, wedi i ryw ddydd hynod ddyfod o amgylch, a gwyl i gael ei chynnal ynddo, efe a ddododd am dano y gwisgoedd cyssegredig, ac a aeth i mewn i'r deml i offrymmu arogldarth i Dduw ar yr allor aur. Ond Azariah yr archoffeiriad, yr hwn oedd a phedwar ugain o offeiriaid gyd ag ef, a sicrhaodd nad oedd gyfreithlon iddo offrymmu aberthau; ac na chaniatteid i neb ond y rhai o hiliogaeth Aaron i wneuthur hynny. Ac â hwy yn llefain fod yn rhaid iddo fyned allan o'r deml, a pheidio troseddu yn erbyn Duw, yr ydoedd yn llidiog wrthynt ac yn bygwth eu lladd hwynt. Yn y cyfamser‖ daear gryn mawr a ddigwyddodd, pa un a ysgydwodd y ddaear,

* Un mlynedd a deugain, Hebr. o'r Fl. 826 hyd 785 cyn Crist.

† Gwel pen. ix. ‡ Ynghylch Bl. 766. § 2Cron. xxvi, 16, a'r canlynol.

‖ Yr adroddiad yma am ddaear gryn yn Jerusalem, ar yr un amser ag y rhyfygodd Uzziah gymmeryd arno weini swydd offeiriad yn y deml, a myned i mewn i'r cyssegr i losgi arogldarth, a'r canlyniadau o ddaear gryn, sy'n hollol yn eisiau yn ein copiau eraill; er ei fod yn dra thebyg i brophwydoliaeth Jeremi yn awr yn Zechariah, xiv, 4, 5: ymha ryw brophwydoliaeth y crybwyllir y ffoedigaeth a wnaethant rhag y ddaear gryn honno, megis y ffoisant rhag y ddaear gryn yma yn nyddiau Uzziah, brenin Judah. Felly fe ymddengys fod rhyw debygolrwydd mawr rhwng y daear grynfaau prophwydol a hanesiol hyn. Ond pa un a ddeonglodd Josephus y brophwydoliaeth hon megis hanesiad, neu pa un a adawyd o'r neilldu ei chyffelyb yn ein copiau eraill, ni ellir yn awr ei benderfynu.

a gwnaethpwyd rhwyg yn y deml, a phelyderau disglaer yr haul a lewyrchodd trwyddi, ac a ddisgynnodd ar wyneb y brenin, a'r gwahanglwyf a'i goddiweddodd ef yn y fan. Ac o flaen y ddinas, mewn lle a elwid Eroge, hanner y mynydd a syrthiodd ymaith oddiwrth y rhan arall o hono o du 'r gorllewin, ac a dreiglodd ymaith bedair o 'stadau, ac a safodd wrth fynydd y dwyrain; nes bod y ffyrdd, yn gystal a gerddi 'r brenin, wedi eu gorchuddio a'u hanrheithio trwy 'r ddamwain ddychrynllyd. Yn awr, cyn gynted ag y canfu 'r offeiriaid fod wyneb y brenin wedi ei daro â'r gwahanglwyf, dywedasant wrtho am y cyflwr yr oedd ynddo, gan orchymmyn iddo fyned allan o'r ddinas fel un wedi ei halogi. Ar hyn yr ydoedd wedi cywilyddio a thristâu yn ddirfawr; ac a ymostyngodd i wneuthur megis y gorchymmynasid iddo, a myned tan gospedigaeth resynol ac arswydus, am ei amcan rhyfygus, a'i anfoesoldeb tu ag at Dduw, y peth yr oedd hynny yn ei arwyddoccau. Felly efe a drigodd y tu allan i'r ddinas tros ennyd o amser, mewn amgylchiad neillduedig; tra 'r ydoedd ei fab Jotham wedi cymmeryd arno 'r llywodraeth.* Efe a fu farw o dristwch a gofid oblegid yr hyn a ddigwyddasai iddo, wedi byw o hono wyth a thrugain o flynyddau, a theyrnasu deuddeg a deugain;† a'i gorph a gladdwyd yn ei ardd ei hun.

## PENNOD XI.

*Am deyrnasiad Zachariah, Shalum, Menahem, Pecahiah, a Pecah; ac am Ymgyrch Pul, a Tiglath-Pileser yn erbyn yr Israeliaid; hefyd am Fatterion brenin Judah; a Phrophwydoliaeth Nahum yn erbyn yr Assyriaid.*

WEDI i Zachariah fab Jeroboam deyrnasu chwe mis ar Israel, efe a laddwyd trwy fradwriaeth Shalum mab Jabesh, yr hwn a feddiannodd y deyrnas yn ol hynny, ond nis cadwodd yn hwy na deng niwrnod ar hugain. Canys Menahem, prif flaenor ei fyddin, yr hwn oedd yr amser hwnnw yn ninas Tirzah, wedi clywed am yr hyn a ddigwyddasai i Zachariah, a symmudodd ei holl luoedd i Samaria; a chan gyssylltu brwydr â Shalum, efe a'i lladdodd ef: ac wedi iddo ef ei wneuthur ei hun yn frenin, efe a ymadawodd ymaith ac a ddaeth i ddinas Tiphsah. Y dinasyddion a gauasant eu pyrth, gan eu bolltio yn erbyn y brenin, ac ni adawent iddo gael dyfodfa i mewn. Ond mewn trefn i ymddïal arnynt, efe a losgodd y wlad o amgylch, ac a gymmerodd y ddinas trwy drais; a chan fod wedi ei ddigio yn fawr wrth yr hyn a wnaethai trigolion Tiphsah, efe a'u lladdodd hwynt oll, ac ni adawodd yn fyw gymmaint a'r mabanod; heb arbed y siamplau hynottaf o greulonder. Canys efe a arferodd y fath doster tu ag at ei gydwladwyr, ag oedd anfaddeuol ymherthynas i ddieithriaid a gongcwerid ganddo. Ac yn ol y dull hwn y parhaodd y Menahem yma i deyrnasu trwy greulondeb a barbariaeth am ddeng mlynedd.‡ Ond pan wnaeth Pul brenin Assyria ymgyrch yn ei erbyn, ni anturiodd fyned i frwydr ag ef; ond a'i perswadiodd i wneud derbyniad o fil o dalentau arian, a myned ymaith, ac felly a roddodd derfyn ar y rhyfel. Y swm yma a gasglodd y lliaws i Menahem trwy godi § deg a deugain drachmæ ‖ fel arian dyledus ar bob pen. Ar ol hyn efe a fu farw, ac a gladdwyd yn Samaria, ac a adawodd ei fab Pecahiah yn llywodraethwr ar y deyrnas. Y tywysog hwn a ddilynodd greulonder ei dad, ac felly a lywodraethodd ddwy flynedd yn unig: yn ol pa amser efe a laddwyd gyd â'i gyfeillion mewn gwledd, trwy fradwriaeth un Pecah, blaenor ei wŷr meirch, a mab Remaliah, yr hwn a osododd faglau iddo. Yn awr, y Pecah hwn a gadwodd y llywodraeth ugain mlynedd,¶ ac a brofodd yn ddyn dryg-

* 2 Bren. xv. 5. † O'r Fl. 811 hyd y Fl. 759.

‡ O'r Fl. 772 hyd y Fl. 762.

§ Dr. Wall yn ei nodau manylaidd ar 2 Bren. xv. 20, sy'n sylwi, mai "Pan ddywedir ddarfod i'r Menahem hwn gyfodi arian oddiar yr Israeliaid, gan yr holl wŷr cedyrn a goludog, a chan bob un ddeg a deugain siel o arian, i roddi i Pul brenin Assyria, 1000 o dalentau; dyma'r arian cyffredin cyntaf a godwyd gan frenin Israelaidd trwy drethu 'r bobl; a'u bod yn arferyd o'r blaen eu codi o drysorau tŷ'r Arglwydd, neu o'u tai eu hunain; mai pen-daliadau oeddynt, a osodid ar wŷr cyfoethog, a hwy yn unig, i godi 353,000 p, neu yn ol cyfrifiad eraill o dalent, 400,000 p, yn ol y trethiad o 6 phunt neu 7 y pen:---ac i Dduw orchymmyn trwy Ezeciel, pen. xlv. 8. a'r xlvi. 18. na fyddai i ddim o'r fath beth gael ei wneuthur ar adferiad yr Iuddewon; ond y byddai i fod gan y brenin ei dir ei hun." Gwel hefyd yr un nodau ar 2 Bren. xxiii. 35, ac ar 2 Cron. xxxvi. 3, 4.

‖ Siclau, Heb. a'r Sept. ¶ O 760 hyd 740.

ionus a throseddwr. Ond brenin Assyria, enw yr hwn oedd Tiglath-Pileser, pan wnaeth efe ymgyrch yn erbyn yr Israeliaid, a goresgyn holl wlad Gilead, a'r ardal tu hwnt i'r Iorddonen, ynghyd a'r wlad gyssylltedig a elwir Galilea, Cadesh, a Hazor, efe a wnaeth eu preswylwyr yn garcharion, ac a'u trosglwyddodd i'w deyrnas ei hun.

Yn awr Jotham, mab Uzziah, a deyrnasodd ar lwyth Judah yn Jerusalem, yr hwn oedd ddinesydd o'r unrhyw o du ei fam, enw 'r hon oedd Jerusha. Nid oedd y brenin hwn yn ddiffygiol o un rhinwedd; ond ydoedd grefyddol tu ag at Dduw, a chyfiawn tu ag at ddynion, ac yn gofalu tros lesâd y ddinas; canys pa gyrrau bynnag oedd yn gofyn eu hadgyweirio a'u haddurno, efe a wnaeth hynny mewn modd harddwych. Efe hefyd a gymmerodd ofal am sylfeini yr ystafell-dai o amgylch y deml, ac a gyfododd y muriau oedd wedi syrthio, ac a adeiladodd dyrau tra mawrion, a'r fath ag ydoedd agos yn anorchfygol. A pha beth bynnag arall yn ei deyrnas a esgeulusid, efe a gymmerodd ofal o'i blegid. Efe hefyd a wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Ammoniaid, ac a'u gorchfygodd mewn brwydr, gan orchymmyn iddynt dalu teyrnged flynyddol o gant o dalentau, a deng mil cori o wenith, a chynnifer fesurau o haidd; ac felly a gynnyrchodd gymmaint ar ei deyrnas, na allai ei elynion feio arni; a'i bobl ei hun a fuont fyw yn ddedwyddol.

Yr ydoedd y pryd hyn * brophwyd a elwid Nahum, yr hwn a lefarodd yn y modd hwn mewn perthynas i'r Assyriaid, ac am Ninefeh: † "Ninefeh a fydd yn llyn o ddwfr, wedi ei gynnhyrfu; felly ei phobl a drallodir, a ergydir, ac a ânt ymaith ar ffo: tra y dywedant y naill wrth y llall, Sefwch, sefwch yn llonydd; ysglyfaethwch eu haur a'u harian, canys ni bydd neb a ewyllysiant yn dda iddynt. Oblegid hwy a geisiant achub eu bywydau yn hytrach na 'u harian. Canys cynnen ofnadwy a'u meddianna y naill tu ag at y llall, ynghyd ag wylofain, a dattodiad yr aelodau, a'u hwynebpryd a dduir yn gwbl âg ofn. A pha le y bydd ffau y llewod, a mam y llewod ieuainge? Duw sydd yn dywedyd wrthyt ti Ninefeh, yr anrheithir di, a'r llewod nid ânt mwyach allan o honot ti i roddi cyfreithiau i'r byd." Ac yn wir y prophwyd a brophwydodd amryw bethau eraill mewn perthynas i Ninefeh, yr hyn nid wyf yn tybied yn angenrhaid i mi eu hadrodd: ac yr wyf yma yn eu gadael o'r neilldu, fel nad ymddangoswyf yn blino fy narllenyddion. Yr holl bethau hynny a ddigwyddasant i Ninefeh ym mhen cant a phymtheng mlynedd ar ol hynny.

## PENNOD XII.

*Am farwolaeth Jotham, a dyfodiad Ahaz i'r llywodraeth; yr Ymosodiad ar Jerusalem gan frenhinoedd Syria ac Israel; a'r Cynnorthwy canlynol a gafodd Ahaz oddiwrth Tiglath-Pileser, brenin Assyria.*

YN awr, bu farw Jotham, wedi byw o hono un mlynedd a deugain, a theyrnasu o honynt ‡ un ar bymtheg; ac efe a gladdwyd ym meddrod y brenhinoedd. Y deyrnas yn ol hynny ydoedd yn disgyn i'w fab; yr hwn a brofodd yn dra anghrefyddol tu ag at Dduw; § ac yn droseddwr cyfreithiau ei wlad. Efe a ddilynodd siampl brenhinoedd Israel, ac a gododd allorau yn Jerusalem, ac a offrymmodd aberthau arnynt i eilunod; i'r rhai hefyd yr offrymmodd ei fab ei hun yn boeth-offrwm, ‖ yn ol arfer y Canaaneaid. Ei weithredoedd eraill hefyd ydoedd yr un cyffelyb. Yn awr, fel yr oedd yn myned ym mlaen yn yr yrfa wallgofus hon, Rezin, brenin

* Ynghylch Bl. 726.

† Yr ymadrodd hwn a gymmerwyd allan o'r prophwyd Nahum, ii. 8---13, yr hwn ydyw y pennaf, neu yn hytrach yr unig un a roddir i ni air yngair, eithr wedi ei dalfyrru ychydig yn ysgrifeniadau Josephus. Wrth ba ryw brawf-nodau yr ydym yn dyfod i ddeall yr hyn y mae efe ei hun yn wastad yn ei wirio; sef, ei fod yn gwneuthur defnydd o'r wreiddiol-iaith Hebraeg, ac nid o'r cyfieithiad Groeg; megis hefyd yr y'm yn deall, fod y copi Hebraeg o ba un yr ysgrifennodd efe, yn gwahaniaethu nid ychydig oddiwrth yr eiddom ni. Gwelwch y tri thestyn yma wedi eu nodi i lawr yn neillduol, a'u cymharu ynghyd yn y Traethawd ar yr Hen Destament, t. d. 187, 188, 189.

‡ O'r Fl. 759 hyd y Fl. 743.

§ Gwelwch pa oleu mawr a roddir trwy iawn wybodaeth o'r hanes yma o Ahaz, Pecah, Rezin, a Tiglath Pul Assur, i odidog brophwydoliaeth Esay, pen. vii, ymherthynas i waredigaeth teulu Dafydd oddiwrth ddinystr yr amser hwn; a'i barhad hyd enedigaeth y Messiah o'r teulu hwn, a hynny o forwyn hefyd; ac ymherthynas i rai prophwydoliaethau perthynol i'r unrhyw, yn y Chwanegiad at Gyflawniad Llythyrennol y Prophwydoliaethau, t. d. 41---54.

‖ 2 Bren. xvi. 3.

Syria a Damascus, a Pecah, brenin Israel, y rhai oedd yn awr yn gyfeillion, a wnaethant ryfel i'w erbyn; ac wedi ei yrru i mewn i Jerusalem, hwy a warchaeasant ar y ddinas honno tros hir amser; heb allu myned ond yn anniben ym mlaen o herwydd cadernid ei chaerau. Ac wedi i frenin Syria gymmeryd y ddinas Elath, ar y Môr Coch, a lladd y trigolion, efe a'i poblogodd hi â Syriaid. Ac wedi iddo ladd rhai oedd mewn gwersylloedd eraill, a'r Iuddewon yn eu cymmydogaeth, a dwyn ymaith ysglyfaeth lawer, efe a ddychwelodd gyd â'i fyddin yn ol i Damascus. Yn awr, pan wybu brenin Jerusalem fod y Syriaid wedi dychwelyd adref; efe, gan feddwl ei hun yn gyfartal i frenin Israel, a dynnodd allan ei fyddin i'w erbyn, ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr, efe a orchfygwyd. A hyn a ddigwyddodd am fod Duw yn ddig wrtho o herwydd ei fawr ddrygioni a'i ysgelerder. Yn ganlynol, fe laddwyd gan yr Israeliaid gant ac ugain mil o'i wŷr y dydd hwnnw. Ac Amaziah, penciwdawd yr Israeliaid, a laddodd Zachariah, mab y brenin, yn yr ymdrech hwn ag Ahaz, yn gystal a llywodraethwr y deyrnas, enw yr hwn oedd Azricam. Efe hefyd a ddug ymaith Elcanah, pennaeth lluoedd llwyth Judah i gaethiwed, ynghyd â gwragedd a phlant llwyth Benjamin. Ac wedi iddynt feddiannu ysglyfaith fawr, hwy a ddychwelasant i Samaria.*

Yn awr, yr ydoedd un Obed yr hwn oedd brophwyd y pryd hynny yn Samaria; efe a gyfarfu y fyddin o flaen caerau 'r ddinas; a chyd â llef uchel a ddywedodd wrthynt, ddarfod iddynt gael y fuddugoliaeth, nid oblegid eu grymusder, ond o herwydd digter Duw tu ag at y brenin Ahaz: ac efe a achwynodd am na foddlonasant ar y llwyddiant a gawsant i'w erbyn ef; ond a oeddynt mor hyfion a chymmeryd rhai yn gaethion o'u carennydd o lwyth Judah a Benjamin. Efe hefyd a'u cynghorodd hwynt i adael iddynt ddychwelyd adref heb eu niweidio; ac os na ufuddhaent i Dduw yn hyn, y byddent tan gospedigaeth o'i herwydd. Felly pobl Israel a ymgasglasant ynghyd yn dyrfa i ystyried y pethau hyn; pan safodd gwr i fynu a'i enw Berechiah, a'r hwn oedd un o gyfrifiad mwyaf yn y llywodraeth, a thri eraill gyd ag ef, gan ddywedyd "Ni oddefwn ni i'r dinasyddion ddwyn y carcharion hyn i mewn i'n dinas, rhag ein difetha oll gan Dduw. Y mae gennym bechodau ddigon o'r eiddom ein hunain y rhai a wnaethom yn ei erbyn, fel y sicrhâ y prophwydi i ni; ac ni ddylem oblegid hynny ddwyn i mewn ymarferiad o gamweddau newyddion." Pan glybu y milwyr hynny hwy a ganiattasant iddynt wneuthur yr hyn oedd oreu yn eu golwg. Felly y gwŷr rhagddywededig a gymmerasant y caethion, ac a roddasant ymborth iddynt, ac a'u hanfonasant i'w gwlad eu hun, heb wneuthur dim niweid iddynt. Pa fodd bynnag, y pedwar hyn a aethant gyd â hwynt, ac a'u tywysasant hyd yn Jericho, yr hon sydd yn agos i Jerusalem; ac yna hwy a ddychwelasant i Samaria.

Ar hyn, y brenin Ahaz wedi ei orchfygu mor llwyr gan yr Israeliaid, a ddanfonodd at Tiglath-Pileser, brenin yr Assyriaid, gan ddeisyf cynnorthwy yn ei ryfel yn erbyn yr Israeliaid, Syriaid, a Damasciaid; gyd ag addewid o anfon iddo lawer o arian. Efe hefyd a ddanfonodd iddo anrhegion mawrion yr un amser. Yn awr, y brenin yma ar dderbyniad y cennadau, a ddaeth i gynnorthwyo Ahaz; ac wedi gwneud rhyfel ar y Syriaid, efe a ddifrododd eu gwlad hwynt, a gymmerodd Damascus trwy drais, a laddodd Rezin eu brenin, ac a drosglwyddodd bobl Damascus i Media uchaf; ac a osododd drefedigion o Assyriaid yn eu dinas hwynt. Efe hefyd a flinodd dir Israel, gan gymmeryd o hono amryw yn gaethion. Yn y cyfamser, y brenin Ahaz a gymmerodd yr holl aur ac arian oedd yn y trysordai brenhinol, a'r hyn ydoedd yn nheml Dduw, ynghyd a'r rhoddion gwerthfawr oedd yno; ac efe a'u dug ymaith gyd ag ef i Damascus, ac a'u rhoddodd i frenin Assyria, yn ol ei gyttundeb. Felly efe a gyfaddefodd ei fod yn ddyledus i ddiolch iddo am yr hyn oll a wnaethai trosto, ac a ddychwelodd i Jerusalem. Yn awr, y brenin ydoedd mor ddifeddwl am yr hyn a duedlai i'w ddaioni, fel na adawai heibio addoli duwiau y Syriaid,

* 2 Cron. xxviii. 8.

hyd yn oed pan orchfygid ef ganddynt: ond efe a barhaodd yn ei eilun-addoliaeth, megis pe hwy a roddasent iddo fuddugoliaeth. A phan orchfygid ef drachefn, efe a ddechreuai anrhydeddu duwiau yr Assyriaid; ac efe a ymddangosai â mwy o ddymuniad ganddo i anrhydeddu rhyw un arall yn hytrach na gwir Dduw ei dadau; anfoddlonrwydd yr hwn tu ag atto oedd yr achos o'i aflwyddiant. Ië, efe a aeth ym mlaen i'r fath radd o ddirmyg ar addoliad Duw, fel y cauodd efe i fynu y deml yn gyfangwbl;* ac a waharddodd y bobl i ddwyn i mewn yr aberthau appwyntiedig; ac a ddygodd ymaith yr anrhegion a osodasid ynddi. Ac wedi iddo ddangos yr anfri hwn i Dduw, efe a fu farw, yn ol byw o hono un mlynedd ar bymtheg ar hugain, † a theyrnasu un ar bymtheg; ‡ ac efe a adawodd ei fab Hezeciah yn ddilynwr iddo yn y llywodraeth.

## PENNOD XIII.

*Am farwolaeth Pecah; a theyrnasiad Hoshea brenin Israel, a Hezeciah brenin Judah.*

YNGHYLCH yr un amser, Pecah,§ brenin Israel, a fu farw trwy fradwriaeth cyfaill iddo, a elwid Hoshea, yr hwn a feddiannodd y deyrnas naw mlynedd; ond a ydoedd ddyn drwg, ac yn ddirmygwr dwyfol addoliad. A Shalmaneser, brenin Assyria, a wnaeth ymgyrch yn ei erbyn, ac a'i gorchfygodd ef, (yr hyn oedd raid ei ddigwydd oblegid nad oedd Duw yn ffafrol ac yn gynnorthwyol iddo,) ac efe a'i dug i ymostyngiad, ac i dalu teyrnged appwyntiedig iddo. Yn awr, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Hoshea, Hezeciah, fab Ahaz, a ddechreuodd deyrnasu yn Jerusalem; ac enw ei fam oedd Abijah; dinasyddes o Jerusalem. Yr ydoedd efe o naturiaeth dda a chrefyddol. Canys pan ddaeth efe i'r deyrnas, ni thybiodd ddim mor angenrhaid ac mor fanteisiol iddo ei hun, ac i'w ddeiliaid, a gofalu am addoliad Duw. Yn ganlynol, efe a gynnullodd y bobl, ynghyd â'r offeiriaid a'r Lefiaid, ac a areithiodd wrthynt, gan ddywedyd, "Nid ydych heb wybod pa fodd, trwy bechodau fy nhad, yr hwn a droseddodd yn erbyn yr anrhydedd sanctaidd hwnnw a berthyn i Dduw, y buoch yn brofiadol o amryw fath o drueni, tra y llygrwyd chwi yn eich meddyliau trwyddo ef; ac eich hudwyd i addoli rhai a ddychymmygodd efe eu bod yn dduwiau. Yr wyf yn eich cynghori gan hynny, y rhai a ddysgasoch trwy brofiad galarus y fath berygl sydd mewn annuwioldeb, i osod eilunod ym mhell o'ch meddyliau, a phuro eich hunain oddiwrth eich halogedigaeth gynt, ac agoryd y deml i'r offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai a berthyn iddynt fyned i mewn yno; gan ei glanhau â'r aberthau arferedig, ac adferyd yr anrhydedd a'r parch a gyfrifai ein hynafiaid iddi. Canys trwy 'r moddion hyn yr ennillwn Dduw i fod yn ffafrol i ni, ac a ddyru heibio y digter oedd ganddo yn ein herbyn."

Wedi i'r brenin ddywedyd hyn, yr offeiriaid a agorasant y deml; ac wedi iddynt osod offerynnau Duw mewn trefn, a bwrw allan yr hyn oedd yn ammhur, hwy a osodasant yr aberthau arferedig ar yr allor. Y brenin hefyd a ddanfonodd at y wlad oedd tan ei lywodraeth ef, ac a alwodd y bobl i Jerusalem, i gadw gwyl y bara croyw;¶ canys yr ydoedd wedi ei adael o'r neilldu er's hir amser, ar gyfrif annuwioldeb y

* 2 Cron. xxviii. 24.

† Pan y mae Josephus, ynghyd a'n holl gopiau Hebraeg, a'n copiau Groeg, yn y Brenhinoedd; a'n holl gopiau Hebraeg a Groeg o'r Croniclau, yn gwneuthur Ahaz yn ddim rhagor nag ugain mlwydd o oedran pan ddechreuodd deyrnasu, ac iddo deyrnasu un flynedd ar bymtheg; ac yna, fel y cyttuna 'r holl gopiau, ei ddilyn gan Hezeciah yn bum mlwydd ar hugain o oedran: mae'n amlwg nad oes ond un mlynedd ar ddeg, neu'r hyn fwyaf ond ychydig fisoedd heblaw hynny i Ahaz, y tad, pan anwyd y mab Hezeciah, yr hyn sy'n achos o un o'r anhawsderau mwyaf yn y Bibl. Ond yna, fel y mae Dr. Wall yn iawn sylwi, yr anhawsdra yma a eglurir gan y copi Groeg a'r cyfieithiad Armeniaidd; y rhai, er bod y cyntaf yn y Brenhinoedd, a'r diweddaf yn y Croniclau, gyd ag eraill, wedi gadael yn ol y blynyddau annghynnifer uwchlaw ugain am oedran Ahaz, pan ddaeth efe i feddiannu 'r goron, etto y mae'r cyntaf yn y Croniclau, 2 Cron. xxviii. 1, a'r diweddaf yn y Brenhinoedd yn eu cadw hwynt, a phendant sierhau i ni yno, fod Ahaz yn bum mlwydd ar hugain o oedran pan ddechreuodd deyrnasu, yr hyn sy'n dangos yn gynnnwys ei fod yn un mlynedd ar bymtheg o oedran pan anwyd ei fab Hezeciah, yr hyn sy'n cwbl egluro'r anhawsdra.

‡ O'r Fl. 744 hyd y Fl. 723.

§ Josephus a ddywed yma ddarfod lladd Pecah ynghylch yr un pryd ag y bu Ahaz farw, yr hyn ni chaniatteir gan amseryddiaeth. Etto pan ystyriom mai yn yr un amseryddiaeth, y bedwaredd flwyddyn o Ahaz a elwir yn ddeuddegfed o Jotham, 2 Bren. xv. 30, pan na theyrnasodd Jotham i gyd ond un mlynedd ar bymtheg, adn. 33, y mae'n gwestiwn pa un ai nad oedd gan rai o'r copiau ynuyddiau Josephus wahanol rifedi ynddynt; ac mai yn gyttunol a'r rhifedi hynny ydoedd yr amser y lladdwyd Pecah, ac ynghylch yr un pryd ag y bu farw Ahaz; er o bossibl y gallai Josephus arferyd y geiriau hyn, "ynghylch yr un amser," mewn ystyr helaethach. ‖ O'r Fl. 737 hyd y Fl. 723. ¶ 2 Cron. xxx. 1.

brenhinoedd rhagddywededig. Efe hefyd a ddanfonodd at yr Israeliaid, gan eu cynghori i ddodi heibio eu dull presennol o ymagweddu, ac i ddychwelyd at eu hymarferiadau hynafiaethol, ac addoli Duw; a'i fod ef yn rhoddi cennad iddynt i ddyfod i Jerusalem, ac i gyd-gadw yn un corph ŵyl y bara croyw; a hyn a ddywedodd oedd mewn ffordd o wahoddiad yn unig, a bod iddynt ei chyflawni o'u hewyllys da eu hun, ac er eu hunain fantais, ac nid o ran ufuddhau iddo ef, o herwydd y tueddai i'w dedwyddwch. Ond yr Israeliaid, wedi dyfod y cennadau attynt, a gosod o'u blaen y gennadwri a gawsent, oeddynt mor bell oddiwrth gydsynio â'r unrhyw, fel y chwarddasant am ben y cennadwyr, ac y gwatworasant hwynt megis ynfydion: hwy hefyd a wawdiasant y prophwydi a roesai yr un cyngor iddynt, ac a ragfynegasant yr hyn a ddioddefent, os na ddychwelent at addoliad Duw, fel ag y darfu iddynt eu dal a'u lladd hwynt. Ac ni ddarfu i'r graddau hyn o droseddu eu boddloni hwynt; ond yr oedd ganddynt ddyfais mwy drygionus na 'r hyn a ddescrifiwyd. Ac ni adawsant hwy heibio cyn i Dduw, fel cospedigaeth am eu beiau, eu dwyn tan awdurdod eu gelynion. Ond am hynny ni a soniwn ychwaneg yn ol hyn. Yr ydoedd, pa fodd bynnag, amryw o lwyth Manasseh, o Zebulun, ac Issachar,* yn ufuddhau i'r hyn y cynghorai y prophwydi hwynt i'w wneuthur; a'r rhai hyn oll a ddaethant tan redeg i Jerusalem at Hezeciah, fel y gallent addoli Duw yno.

Wedi dyfod y dynion hyn, y brenin Hezeciah a aeth i fynu i'r deml, gyd â'r pennaethiaid a'r holl bobl; ac a offrymmodd trosto ei hun saith o deirw, a chynnifer o hyrddod; gyd â saith oen, a saith o fynnod geifr. Y brenin hefyd a'r pennaethiaid a osodasant eu dwylaw ar bennau yr aberthau, ac a ganiattasant i'r offeiriaid gyflawni eu swyddau cyssegredig yn eu cylch hwynt. Felly hwy a laddasant yr aberthau, ac a losgasant y poeth-offrwm; tra'r oedd y Lefiaid yn sefyll o'u hamgylch, â'u hofferynnau cerddoriaeth, ac yn canu hymnau i Dduw, ac yn chwareu ar eu nablau, fel yr ordeiniasid iddynt wneuthur; a hyn tra'r oedd y rhan arall o'r offeiriaid yn dychwelyd y gerddoriaeth, ac yn lleisio â'r udgyrn oedd ganddynt yn eu dwylaw. A phan wnaed hyn, y brenin a'r lliaws a syrthient i lawr, ac a addolent Dduw. Deg a thrugain o fustych, cant o feheryn, a dau cant o ŵyn, a aberthwyd gan y brenin, yr hwn hefyd a ganiattaodd i'r lliaws aberthau i wledda arnynt; chwe chant o ychain, a thair mil o anifeiliaid eraill; a'r offeiriaid a wnaethant bob peth yn ol y gyfraith. Yn awr, y brenin a foddhawyd gymmaint yn hyn, ag y gwleddodd gyd â'r bobl, ac a ddiolchodd i Dduw. Ond fel ag yr oedd gŵyl y bara croyw yn awr wedi dyfod, pan offrymasant yr aberth hwnnw a elwid y Pasc, hwy yn ol hynny a offrymasant aberthau eraill tros saith niwrnod, pan gyfrannodd y brenin ar y lliaws, heblaw yr hyn a aberthasant eu hunain, ddwy fil o fustych, a saith mil o anifeiliaid eraill; a'r un peth a wnaethpwyd gan y pennaethiaid: canys hwy a roisant iddynt fil o fustych, ac un mil a deugain o anifeiliaid eraill. Ac ni chadwasid yr ŵyl hon er dyddiau 'r brenin Solomon, gyd â'r fath fawredd a pharch: ac wedi darfod yr ŵyl, hwy a aethant allan i'r wlad, i'w phuro hi, ac a lanhasant y ddinas oddiwrth halogrwydd ei holl eilunod. Y brenin hefyd a roddodd orchymmyn fod i'r aberth beunyddiol gael ei offrymmu ar ei gost ei hun, ac yn ol y gyfraith; ac a appwyntiodd i'r degymmau a'r blaenffrwythau gael eu cyfrannu gan y lliaws i'r offeiriaid a'r Lefiaid; fel y gallent hwy yn wastadol weini dwyfol wasanaeth, heb eu cymmeryd un amser oddiwrth addoliad Duw. Yn ganlynol, y bobl a ddygasant ynghyd o bob rhyw ffrwythau oedd ganddynt i'r offeiriaid a'r Lefiaid. Y brenin hefyd a wnaeth ystordy neu dderbynfa i'r ffrwythau hyn, ac a gyfrannodd o honynt i bob un o'r offeiriaid a'r Lefiaid, ac i'w gwragedd a'u plant. Ac fel hyn y dychwelasant at eu hen ffurf o ddwyfol addoliad. Yn awr, wedi i'r brenin sefydlu y matterion hyn yn ol y drefn a ddescrifiwyd eisoes, efe a wnaeth ryfel â'r Philistiaid, ac a'u gorchfygodd hwynt, ac a feddiannodd ei hun o'u holl ddinasoedd, o Gaza hyd yn Gath. Ac wedi i frenin Assyria ddanfon

* Asher, Heb. a'r Septu.

atto, gan fygwth dadymchwel ei holl lywodraethau, oddieithr talu o bono y deyrnged a dalasid gynt gan ei dad; ni arswydodd Hezeciah wrth hyn, ond a hyderodd ar ei uniondeb tu ag at Dduw, gan yr hwn yr ymofynnodd ac y cafodd ragwybodaeth o'r holl bethau i ddyfod. A hyn a gaiff wasanaethu yn bresennol ymherthynas i Hezeciah.

## PENNOD XIV.

*Am Ddadymchweliad Samaria gan Shalmaneser; a Chaethgludiad y deg Llwythau i Media.*

WEDI i Shalmaneser, brenin Assyria, gael ei wneud yn hyspys, ddarfod i Hoshea ddanfon yn ddirgelaidd at So, brenin yr Aipht, i ddymuno ei gynnorthwy i'w erbyn, yr ydoedd efe yn dra digllon; ac a wnaeth ymgyrch yn erbyn Samaria, yn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Hoshea. Ac wedi gommedd dyfodiad iddo i mewn i'r ddinas, efe a warchaeodd ar Samaria, tros * dair blynedd, ac a'i cymmerodd trwy drais yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Hoshea, ac yn y seithfed i Hezeciah brenin Jerusalem: ac efe a lwyr ddifrododd lywodraeth yr Israeliaid; ac a gaethgludodd yr holl bobl i Media a Phersia; ym mhlith pa rai y cymmerodd efe y brenin Hoshea yn fyw; ac wedi symmud y bobl hyn o'u gwlad, efe a symmudodd eraill o le a elwid Cuthah, i Samaria, ac i wlad yr Israeliaid. Felly y † deg llwythau o Israeliaid a symmudwyd allan o Judea; naw cant a saith a deugain o flynyddau yn ol dyfodiad eu tadau gynt allan o wlad yr Aipht, a meddiannau o honynt y wlad hon: ond wyth gant o flynyddoedd ar ol i Joshua fod yn arweinydd iddynt; a dan cant a deugain mlynedd, saith mis, a saith niwrnod, ar ol eu gwrthgiliad oddi wrth Rehoboam, ŵyr Dafydd; a rhoddi o honynt y deyrnas i Jeroboam. A'r fath ddiwedd a oddiweddodd yr Israeliaid, yn ol iddynt droseddu yn erbyn y cyfreithiau, ac na wrandawent ar y prophwydi, y rhai a ragfynegasant am y trallod hwn a ddeuai arnynt, os na roddent heibio eu pechodau. Yr hyn a esgorodd ar y drygau hyn, oedd yr ymbleidiad a godasant yn erbyn Rehoboam, ŵyr Dafydd, pan osodasant i fynu ei was Jeroboam i fod yn frenin arnynt; yr hwn trwy bechu yn erbyn Duw, a'u dwyn i ddilyn ei ddrwg esampl, a wnaeth Dduw yn elyn iddynt; tra y darfu efe ei hun fyned dan y gosp hono ag oedd ddyledus iddo.

Ac yn awr brenin Assyria a oresgynnodd holl Syria Phœnicia mewn modd rhyfelgar. Enw y brenin hwn hefyd sydd wedi ei osod i lawr yng hôf-lyfrau Tyre; canys efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Tyre yn nheyrnasiad Eluleus. Ac y mae Menander yn tystiolaethu am dano; yr hwn pan ysgrifennodd ei amseryddiaeth, ac y cyfieithodd gof-lyfrau Tyre i'r iaith Roeg, sydd yn rhoddi i ni yr hanes canlynol: "Un a'i enw Elulens a deyrnasodd un mlynedd ar bymtheg ar hugain: y brenin, ar wrthwynebiad y dinasyddion, a fordwyodd attynt, ac a'u dygodd drachefn i ymostyngiad. Yn erbyn y rhai hyn yr anfonwyd byddin gan frenin Assyria, a hwy mewn modd rhyfelgar a oresgynnasant holl Phœnicia; ond a wnaethant heddwch yn fuan â hwynt, ac a ddychwelasant. Ond Sidon ac Ace Palœtyrus a wrthryfelasant; a llawer o ddinasoedd eraill ydoedd, ag a roddasant eu hunain i fynu i frenin Assyria. Yn ganlynol, pan na fynnai'r Tyriaid ymostwng iddo, y brenin a ddychwelodd ac a syrthiodd arnynt drachefn, tra'r oedd y Phœniciaid wedi parottoi iddo drugain o longau, ac wyth gant o wŷr i'w rhwyfo hwynt. Ac wedi i'r Tyriaid ddyfod ar eu gwarthaf mewn deuddeg o longau, a llynges y gelynion wedi ei gwasgaru gan dymmestl, hwy a gymmerasant bum cant o wŷr yn garcharorion. A chlod dinasyddion Tyre wrth hynny a

* Y cynllwyn, neu'r gwarchaedigaeth yma ar Samaria, er na roddir hanes neillduol am dano yn ein Biblau Hebraeg neu Roeg, nac yn Josephus, ydoedd dra hir, nid llai na thair blynedd; fel nad yw mewn un modd yn annhebygol nad ydoedd rhieni, yn enwedig mammau, yn cael eu darostwng i ymborthi ar eu plant eu hunain, fel ag y bygythiwyd ynghyfraith Moses ar eu hanufudd-dod. Lef. xxvi. 29. Deut. xxviii. 53--57. ac fel y cyflawnwyd ynghynllwynion byrrach y prifddinasoedd, Jerusalem a Samaria; y cyntaf a grybwyllir Jer. xix. 9. Galar. ii. 20. iv. 10. Hynaf. IX. 4. Am y Rhuf. VI. 3, 4. y diweddaf a grybwyllir 2 Bren. vi. 23--29. Gwel fy nghyhoeddiad o Lecturau R. Boyle, t. d. 209--214.

† Fod ein Hamseryddiaeth ni yn gywir, cyn belled yn ol a'r caethiwed hwn o'r deg llwyth, a hynny hyd flwyddyn, trwy y cyfrwng o 2456 o flynyddau, gwelwch eglurdeb o hono oddiwrth y blynyddoedd Sabbothol a grybwyllir yn y llyfr Saesonaeg, Literal Accomplishment of the Prophecies, p. 75.

chwanegodd. Ond brenin Assyria a ddychwelodd, ac a osododd wylwyr wrth yr afon, a dwfrleoedd eraill, i rwystro y Tyriaid i dynnu dwfr. Hyn a barhaodd tros bum mlynedd, ac etto y Tyriaid a oddefasant y gwarchae, ac a yfasant o'r dwfr a gawsant o'r ffynhonnau a gloddiasant." A dyma yr hyn a 'sgrifenwyd ynghof lyfrau y Tyriaid, ymherthynas i Shalmaneser, brenin Assyria.

Ond yn awr y Cutheaid, y rhai a symmudasant i Samaria, (canys dyna 'r enw y gelwid hwynt wrtho hyd y pryd hyn, o herwydd eu dwyn allan o'r wlad a elwid Cuthah, yr hon sydd yn Persia, ac y mae afon o'r un enw ynddi,) pob rhai o honynt yn ol eu cenedlaethau, y rhai oeddynt bump o nifer; a thrwy eu haddoli hwy yn ol arfer eu gwledydd eu hunain, hwy a ddigiasant yr Hollalluog Dduw, i beri iddo anfon pla * arnynt, trwy 'r hwn y difethwyd hwynt. A phan na chawsant un feddyginiaeth rhag eu trueni, dysgasant wybod trwy oracl neu attebfa, y dylent addoli yr Hollalluog Dduw, megis y moddion o'u gwaredigaeth. Felly hwy a ddanfonasant gennadau at frenin Assyria; ac a ddymunasant arno anfon attynt yr offeiriaid hynny o Israeliaid a gymmerasai yn gaethion. Ac wedi iddo ar hynny eu danfon hwynt, a dysgu o honynt y cyfreithiau i'r bobl, a sanctaidd addoliad Duw, hwy a'i haddolasant ef mewn modd parchus, a'r pla a attaliwyd yn ddioed. Ac yn wir y maent yn parhau i arferyd yr un defodau hyd heddyw; a gelwir hwynt yn y dafodiaith Hebraeg, Cutheaid; ond yn iaith y Groegiaid, Samariaid. A phan welont yr Iuddewon mewn llwyddiant, cymmerant arnynt eu bod yn perthyn iddynt, ac a'u galwant yn garennydd, megis pe byddent hwy yn tarddu oddiwrth Joseph, a bod ganddynt trwy 'r moddion hynny berthynas â hwynt. Ond pan welont hwynt yn syrthio i gyflwr isel, dywedant nad oes rhyngddynt un berthynas â hwynt; ac nad oes achos i'r Iuddewon ddisgwyl am gymmwynas ganddynt hwy: ond dywedant mai ymdeithwyr ydynt wedi dyfod o wlad arall. Eithr am y rhai hyn cawn gyfle mwy prydlon i draethu rhagllaw.†

---

# LLYFR X.

*Yn cynnwys Amseriad o Un Cant a Phedwar Ugain a Dwy a hanner o Flynyddau.*

## O GAETHIWED Y DEG LLWYTH HYD Y GYNTAF O CYRUS.

### PENNOD I.

*Am Ymgyrch Sennacherib yn erbyn Hezeciah; Bygythion Rabshaceh; aflwyddiant yr Ymgyrch, a marwolaeth ganlynol Sennacherib.*

YR ydoedd yn awr yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg o lywodraeth Hezeciah brenin y ddau lwyth, pan ddarfu i Sennacherib brenin Assyria wneud ymgyrch yn ei erbyn, gyd â byddin lïosog, ac a gymmerodd holl ddinasoedd llwyth Judah a Benjamin trwy orthrech.‡ A phan ydoedd barod i ddwyn ei fyddin yn erbyn Jerusalem, Hezeciah a ddanfonodd gennadau atto i arwyddo ei ymostyngiad a'i ymrwymiad i dalu pa ryw deyrnged bynnag a osodai arno. Ar hyn Sennacherib a ymrôdd i beidio myned a'r rhyfel ym mlaen mwyach, ond i dderbyn y cynnygion a wnaethpwyd iddo: ac os derbyniai efe gan' talent o ariau, a deg ar hugain o aur, efe a addawodd ymadael mewn modd cyfeillgar; gan sicrhau trwy lw i'r cennadwyr, na wnai wedi hynny i Hezeciah ddim niweid, ond a ai ymaith

* Josephus a ddywed yma, mai yn lle llewod, fel y crybwylla ein copiau eraill, 2 Bren. xvii. 26. pla neu haint a ddanfonwyd i blith y Cuthiaid neu Samariaid hyn. Y mae hefyd yn cadarnhau hyn yn ollaw, XII. 5. wrth epistol o eiddo 'r Cutheaid neu Samariaid hyn at Antiochus Epiphanes: yr hwn ni chrybwyll ddim am lewod, ond sydd yn son yn bendant ac yn fynych am y plâau hyn. Felly darlleniad Josephus a ymddengys yn fwyaf cywir a thebygol yn y lle hwn.

† Gwel Llyfr XI. pen. 8. a'r XII. 5.

‡ 2 Bren. xviii. 23. Esay xxxvii. 1.

megis ag y daethai. Felly Hezeciah a ymostyngodd ac a waghaodd ei drysorau, gan anfon yr arian, megis yn meddwl cael ei ryddhau trwy hynny oddiwrth ei elyn, ac oddiwrth bob rhyw ofidiau eraill mewn perthynas i'w deyrnas. Yn ganlynol, yr Assyriad a'u cymmerodd; a chan beidio ystyried dim o'r hyn a addawodd, tra 'r aeth efe ei hun ymaith i ryfela yn erbyn yr Aiphtiaid a'r Ethiopiaid, efe a adawodd ei benciwdawd Rabshaceh, a dau eraill o'i ben-blaenoriaid, gyd â byddin gref i ddinystrio Jerusalem. Enwau y blaenoriaid eraill ydoedd Tartan a Rabsaris.*

Yn awr, cyn gynted ag y daethant yn agos i'r caerau, hwy a wersyliasant, ac a ddanfonasant gennadau at Hezeciah, i ddymuno cael ymddiddan ag ef. Ond ni ddaeth efe allan ei hun attynt gan ofn; ond a ddanfonodd dri o'i swyddogion pennaf: sef, Eliacim, yr hwn oedd olygwr y deyrnas; Shebna, a Joab y cofiadur. Felly y gwŷr hyn a ddaethant allan, ac a safasant ar gyfer blaenorion yr Assyriaid. A phan welodd Rabshaceh hwynt, efe a archodd iddynt fyned a llefaru wrth Hezeciah, yn y modd canlynol: fod "Sennacherib, y brenin mawr,† yn dymuno cael gwybod ganddo pwy yw'r hwn ar ba un y mae efe yn ymorphwys ac yn ymddiried am gymmorth, pan ffoisai oddiwrth ei arglwydd, ac y pallodd wneuthur derbyniad o'i fyddin i'w ddinas? A ydoedd hynny ar gyfrif yr Aiphtiaid, ac mewn gobaith y trechid ei fyddin ganddynt hwy? O herwydd paham y mae efe yn rhoi ar ddeall iddo, os hyn yw 'r peth y mae 'n ei ddisgwyl, ynfydrwydd yw; a thebyg yw efe i un yn rhoddi ei bwys ar gorsen yssig, pan nid yn unig y syrth, ond ei law a drywanir ac a glwyfir ganddi. Mae efe yn gwneud yr ymgyrch hwn i'w erbyn yn ol ewyllys Duw: yr hwn a drefnodd y ffafr yma iddo o ddadymchwel teyrnasoedd Israel, a bod iddo yn yr un dull ddifetha y rhai sydd ddeiliaid iddo hefyd." Wedi i Rabshaceh ymadroddi fel hyn yn y dafodiaith Hebraeg, canys yr oedd efe yn hyddysg ynddi, Eliacim a ofnodd rhag i'r lliaws oedd yn ei glywed gael eu terfysgu; o herwydd paham efe a ddymunodd arno lefaru yn Syriaeg. Ond y penciwdawd yn deall ei feddwl, ac yn canfod yr ofn ag ydoedd ynddo, a attebodd â llais uchel yn yr Hebraeg, gan ddywedyd, "Tra y maent oll yn clywed beth yw gorchymmyn y brenin, hwy a ymgynghorant â'u manteision eu hunain, trwy ymostwng i ni: canys y mae'n amlwg eich bod chwi a'ch brenin yn gwrthgynghori 'r bobl i beidio ymostwng i ni trwy wag obaith, ac felly yn eu tueddu i'n gwrthwynebu. Ond os ydych yn meddiannu calondid, ac yn amcanu gyrru ein byddinoedd ymaith, yr wyf fi yn barod i'ch diwallu chwi â dwy fil o feirch ag sydd yma gennyf fi, os medrwch osod cynnifer o wŷr arnynt ag a ddangoso eu grymmusder: ond yr hyn nid ydych yn meddu arno nis gellwch ei gael. Paham gan hynny yr ydych yn oedi rhoddi eich hunain i fynu i oruwch allu, ag a ddichon eich cymmeryd heb eich cydsyniad? er, yn sicr, ei fod yn fwy diberygl i chwi roddi eich hunain i fynu yn wirfoddol; canys wedi eich trechu o'ch anfodd, fe ymddengys eich sefyllfa yn fwy peryglus, a'ch dioddefgarwch yn anocheladwy."‡

Pan glybu 'r bobl, yn gystal â'r cennadau, yr hyn oedd gan y llywydd Assyriaidd i'w ddywedyd, hwy a'i hadroddasant i Hezeciah: yr hwn ar hynny a ddiosgodd ei frenhinol wisg, ac a ddododd am dano sachliain, gan ymddangos mewn gwisg galarwr: ac, yn ol arfer ei wlad, efe a syrthiodd ar ei wyneb gan ymbil â Duw, ac erfyn am ei gymmorth iddynt, pan nad oedd ganddynt un gobaith arall am ymwared. Efe hefyd a anfonodd rai o'i gyfeillion, ac o'r offeiriaid at y prophwyd Esay, gan ddeisyfu iddo weddio ar Dduw, ac offrymmu aberthau er eu cyd-waredigaeth; ac felly gosod ei erfyniadau atto, fel y digiai wrth ddisgwyliadau eu gelynion, a chymmeryd trugaredd ar ei bobl. Ac wedi i'r prophwyd wneuthur yn ganlynol, attebfa a ddaeth atto oddiwrth Dduw, gan gefnogi 'r brenin a'i gyfeillion oedd o'i amgylch; a rhagfynegi, y curid eu gelynion heb ymladd â hwynt, ac yr elent ymaith mewn modd gwaradwyddus,

* 2 Bren. xviii. 17.

† Y titl yma, Brenin Mawr, yn ein Biblau, 2 Bren. xviii. 19. Esay xxxiv. 4. ac yma yn Josephus, yw yr un ag y mae Herodotus yn ei grybwyll am Sennacherib, fel y mae Spanheim yn sylwi yn y lle hwn.

‡ 2 Bren. xviii. 19--35.

ac nid gyd â'r trahausdra yr oeddynt yn awr wedi ei ddangos: oblegid y cymmerai Duw ofal i'w difetha hwynt. Efe a ragfynegodd hefyd y methai Sennacherib gael ei amcan yn erbyn yr Aipht; ac mai pan ddychwelai adref y syrthiai gan y cleddyf.

Ynghylch yr un amser hefyd, brenin Assyria a ysgrifennodd epistol at Hezeciah, ym mha un y crybwyllodd ei ynfydrwydd yn dychymmygu y diangai rhag bod yn was iddo ef; gan ei fod eisoes wedi dwyn tano amryw genhedlaethau mawrion: ac efe a fygythiodd, mai pan gymmerai ef y difethid ef yn llwyr, oddieithr iddo yn awr agor y pyrth, ac yn ewyllysgar dderbyn ei fyddin i mewn i Jerusalem. Pan ddarllenodd yr epistol hwn, efe a'i dirmygodd ar gyfrif yr hyder oedd ganddo yn Nuw: ond efe a blygodd i fynu 'r epistol ac a'i gosododd yn y deml. Ac fel yr oedd yn gwneuthur ei weddiau ymhellach at Dduw tros y ddinas, a thros gadwraeth yr holl bobl; dywedodd y prophwyd Esay fod Duw wedi gwrando ei weddi, ac na warchaeid arno * yr amser hwn gan frenin Assyria: ac mai am yr amser i ddyfod, y byddai diangol rhag cael ei aflonyddu ganddo ef; ac y gallai 'r bobl fyned yn heddychlon ym mlaen, ac yn ddiofn i lafurio eu tir, ac ynghylch matterion eraill. Ond ym mhen ychydig amser wedi i frenin Assyria fethu yn ei amcan bradwriaethus yn erbyn yr Aiphtiaid, efe a ddychwelodd adref yn aflwyddiannus ar yr achos canlynol. Efe a dreuliodd amser hir yngwarchaedigaeth Pelusium; ac wedi i'r gwrthgloddiau a gyfododd gogyfer â'r caerau fyned i uchder mawr; a phan oedd barod i wneud rhuthr arnynt; efe a glybu fod Tirhacah, brenin Ethiopia, yn dwyn byddin liosog gyd ag ef i gynnorthwyo 'r Aiphtiaid, ac wedi trefnu gwneuthur ei gyrchfa yno trwy y diffeithwch, ac felly i syrthio yn ddiarwybod ar yr Assyriaid. Sennacherib gan hynny a aflonyddwyd wrth y newyddion; ac, fel y dywedais o'r blaen, a adawodd Pelusium, ac a ddychwelodd yn ddilwyddiant. Yn awr, ymherthynas i'r Sennacherib hwn, Herodotus a ddywed, yn yr ail llyfr o'i hanesion, ddyfod o hono yn erbyn brenin yr Aipht, yr hwn ydoedd offeiriad Vulcan; ac mai pan ydoedd efe yn gwarchae ar Pelusium, efe a roddodd i fynu y cynllwyn ar yr achos canlynol. Yr offeiriad Aiphtaidd a weddiodd ar Dduw, ac efe a wrandawodd ei weddi; ac a ddanfonodd farn ar y brenin Arabiaidd. Ond yn hyn Herodotus oedd yn gamsyniadol, pan alwodd y brenin hwn nid yn frenin yr Assyriaid, † ond yr Arabiaid. Canys efe a ddywed ddarfod i "liaws o lygod gnoi yn ddrylliau mewn un noswaith y bwäau, a rhannau eraill arfogaeth yr Assyriaid; ac mai ar y cyfrif hwnnw y darfu i'r brenin, pan nad oedd bwäau wedi eu gadael ganddynt, dynnu ei fyddin ymaith oddiwrth Pelusium." Herodotus yn wir sydd yn rhoddi i ni yr hanes hwn. A Berosus, yr hwn a ysgrifennodd ymherthynas i achosion Caldea, sy 'n gwneuthur crybwylliad am y brenin hwn Sennacherib, a'i fod ef yn llywodraethu ar yr Assyriaid; ac iddo wneuthur ymgyrch yn erbyn holl Asia a'r Aipht; gan ddywedyd y modd hwn.—

"Yn awr, pan oedd Sennacherib yn dychwel-

---

* Yr hyn y mae Josephus yn ei adrodd yma am y modd y darfu i Esay y prophwyd sicrhau i Hezeciah, "Na warchaeid arno yr amser hwnnw gan frenin Assyria; ac y byddai diogel tros yr amser i ddyfod rhag cael ei aflonyddu ganddo ef; ac mai ar ol hynny y gallai 'r bobl fyned ym mlaen yn heddychlon â'u gorchwylion gwladol, a matterion eraill," sydd wedi ei nodi yn fwy amlwg yn ein copiau eraill, yn y Brenhinoedd ac Isaiah, ac sydd yn haeddu ystyriaeth dra manwl. Y geiriau yw y rhai hyn; "Hyn fydd yn argoel i ti: y flwyddyn hon y bwyttewch yr hyn a dyfo o hono ei hun; ac yn yr ail flwyddyn yr attwf; ac yn y drydedd flwyddyn hauwch a medwch; plennwch winllanoedd hefyd, a bwyttewch o'u ffrwythau hwynt," 2 Bren. xix. 29. Esay xxxvii. 30, yr hyn sydd yn ymddangos i mi yn eglur arwyddo blwyddyn sabbothol; a blwyddyn y Jubilee yn nesaf ar ei hol: a'r llafuriad arferedig, a'r ffrwythau o honynt ar y drydedd flwyddyn, a'r rhai canlynol. Oddiwrth yr hyn y gall y flwyddyn sabbothol fod yn cael ei phennodi; rhan o'r 18, a rhan o'r 19 mlwydd o deyrnasiad Hezeciah; neu ran o'r 710 a 709 mlynedd cyn dechreu amser cristionogrwydd: a blwyddyn y Jubilee, rhan o'r 19, a rhan o'r 20 i Hezeciah; yr hyn yw rhan o'r blynyddau 709 a 708 cyn cristionogrwydd. Oddiwrth ba destynau y penderfynir am yr holl flynyddau sabbothol eraill, a hynny yn gyttûn â llawer o dystiolaethau, y rhai yn yr ystyr yma nid ydynt mewn un modd yn gwahaniaethu. Oddiwrth ba destun hefyd y sefydlir yr hyn a fuom hyd yn hyn mewn diffyg o hono, am sefyllfa holl flynyddau erall y Jubilee, ie er y flwyddyn gyntaf honno ym mha un y bu farw Moses, ac y tywysodd Joshua 'r Israeliaid i mewn i wlad Canaan, Bl. 1492, hyd flwyddyn olaf y Jubilee, pan ddechreuodd Ioan Fedyddiwr ei weinidogaeth, A. D. 28, deuddeg ar hugain trwy 'r cwbl. Oddiwrth yr hyn y sefydlir amseryddiaeth Ysgrythyrol, a hynny heb gyfeiliorni mewn un flwyddyn, cyn belled yn ol a marwolaeth Moses, trwy 'r cyfwng mawr o 3227 o flynyddoedd.

† Diwygier yma gopiau Josephus ymherthynas i'w gasgliad o Herodotus, a darllenwch, "Yr hwn a ddywed fod Sennacherib nid yn unig yn frenin yr Assyriaid, ond yr Arabiaid hefyd," yr hyn a ymddengys fod Josephus yn ei gymmeryd yn gamsyniaeth yn Herodus.

yd o'i ryfel yn yr Aipht i Jerusalem, efe a gafodd ei fyddin tan ofal Rabshaceh, ei brif flaenor, mewn perygl o herwydd pla; canys Duw a ddanfonasai haint niweidiol i blith ei fyddin; ac ar y noswaith gyntaf o'r cynllwyn neu warchäedigaeth, cant a phedwar ugain a phump o filoedd, gyd â'u cadbeniaid a'u llywyddion a ddifethwyd.* Felly y brenin oedd mewn dychryn mawr oblegid y digwyddiad hwn; a chan ofni am ei holl fyddin, efe a ffodd gyd â gweddill ei luoedd i'w wlad ei hun, ac i'w ddinas frenhinol Ninefeh. Ac wedi trigo ychydig yno, fe ymosodwyd arno yn fradychus, ac efe a fu farw trwy ddwylaw ei feibion hynaf Adrammelech a Sarasar;† ac a laddwyd yn ei deml ei hun, a elwid Arasce. Yn awr ei feibion hyn a yrrwyd ymaith ar gyfrif mwrddrad eu tad, gan y dinasyddion, ac a aethant i Armenia, tra'r ydoedd Assarachodas wedi cymmeryd arno lywodraeth y deyrnas." A hyn a brofodd yn ddiweddiad yr ymgyrch Assyriaidd yn erbyn pobl Jerusalem.

## PENNOD II.

*Am afiechyd Hezeciah; estyniad ar ei einioes o bymtheng mlynedd; a mynediad y cysgod yn ol ddeg o raddau, er cadarnhad o addewid Duw.*

Y BRENIN Hezeciah wedi ei waredu yn y modd rhyfedd hwn oddiwrth yr ofn yr oedd ynddo, a offrymmodd offrwm o ddiolchgarwch i Dduw, gyd â'i holl bobl; o herwydd fod difethiad rhai o'u gelynion, a dychweliad eraill oddiwrth Jerusalem, yn gwbl i'w ystyried o ddwyfol amddiffyn. Etto, er ei fod yn dra gofalus am, ac yn ddiwyd yn addoliad Duw, efe a syrthiodd yn fuan ar ol hynny i drwm glefyd;‡ yn gymmaint a bod ei physygwyr yn anobeithiol am dano, ac heb ddisgwyl canlyniad daionus i'w afiechyd, megis chwaith na ddisgwyliodd ei gyfeillion. Ac heblaw y clefyd ei hun, yr oedd amgylchiad tra gofidus arall yn perthyn i'r brenin, yr hyn oedd yr ystyriaeth o'i fod yn ddiblant, ac yn myned i derfynu ei einioes; ac i adael ei dŷ a'i lywodraeth heb ddilynydd iddo o'i gorph ei hun. Felly yr ydoedd yn drallodus yn ei feddyliau ynghylch ei gyflwr, yr hyn a barodd iddo wylo ac erfyn ar Dduw am estyniad ar ei fywyd tros ychydig amser, nes cael o hono etifeddion; ac na adawai ef i ymadael â'r bywyd hwn nes dyfod yn dad. Ar hyn Duw a drugarhaodd wrtho, ac a wrandawodd ei ymbiliau; o herwydd y trallod yr oedd ynddo trwy ei ddychymmygol farwolaeth: nid ydoedd o herwydd ei fod yn fuan i ymadael a'r manteision oedd yn ei fwynhau yn ei deyrnas, ac ni weddiodd ar y cyfrif hwnnw am iddo gael estyniad ar ei ddyddiau; ond i'r diben i gael meibion i lywodraethu ar ei ol. Ac felly Duw a ddanfonodd Esay y prophwyd, gan orchymmyn iddo hyspysu i Hezeciah, mai "o fewn tri diwrnod o amser yr iacheid ef o'i glefyd, ac y byddai fyw ar ei ol bymtheng mlynedd, § ac y byddai hefyd etifeddion iddo. Yn awr, ar waith y prophwyd yn dywedyd hyn, yn ol gorchymmyn Duw, ni allai Hezeciah ond yn anhawdd ei gredu; yn gymmaint ar gyfrif yr afiechyd yr ydoedd ynddo, pa un oedd yn dra dolurus, ac o herwydd natur y pethau rhyfedd a fynegid iddo; felly efe a ddymunodd i Esay roddi rhyw arwydd iddo, fel y gwybyddai sicrwydd y peth a fynegodd, a'i ddyfod oddiwrth Dduw: canys pethau ag sydd tu hwnt i ddisgwyliad, ac uwch-

* Ddarfod i'r distryw ofnadwy hwn o laddiad 185,000 o'r Assyriaid, wedi ei gymmeryd o eiriau Berosus o Caldea; a'i fod wedi ei sicr a'i fynych ragfynegi gan y prophwydi Iuddewaidd, a darfod iddo gael ei sicr a'i ddiwad gyflawni,---gwelwch yn Saesnaeg Authent. Rec. Rh. II. t. d. 858---871.

† Yr ydym yma i ddal sulw, am y ddau yma o feibion Sennacherib, a ddiangasant ymaith i Armenia, ddyfod o honynt yn benau dau o deuluoedd enwog yno, yr Arzerunii a'r Genunii, am ba rai gwel yr hanesion neillduol yn Moses Chorenensis, yr hanesydd Armenaidd, t. d. 60, 92, 93.

‡ Josephus, a'n holl gopiau eraill, ydynt yn gosod afiechyd Hezeciah ar ol dinystr byddin Sennacherib; o herwydd ei fod yn ymddangos iddo ddigwydd ar ol ei ymosodiad cyntaf, fel ag yr oedd yn myned i Arabia a'r Aipht; lle y gyrrodd ym mlaen ei fuddugoliaethau mor belled ag yr elent; ac mewn trefn i ddiweddu ei hanes yn gyfan gwbl. Etto nid oes un copi ond hwn o eiddo Josephus, a ddywed mai ar ol y dinystr hwnnw y digwyddodd ei glefyd; ond yn unig ddigwydd o hono yn y dyddiau hynny, neu ynghylch y pryd hwnnw o fywyd Hezeciah. Ac ni oddef y pymtheng mlynedd estynnol at fywyd Hezeciah, i'w afiechyd ddigwydd yn ddiweddarach na'r rhan flaenorol o'r bymthegfed flwyddyn o'i deyrniad: pan nad yw amseryddiaeth yn caniattau i'w holl deyrnasiad ychwaneg na naw mlynedd ar hugain, ac ychydig o fisoedd; lle'r oedd ymosodiad cyntaf Sennacherib yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i Hezeciah, 2 Bren. xviii. 13: ond distrywiad byddin Sennacherib nid ydoedd hyd y ddeunawfed flwyddyn. Y mae hefyd addewid wedi ei chynnwys i mewn yn hanes clefyd Hezeciah, yr hyn a ddengys ei fod ar ol gwrthwynebiad cyntaf Sennacherib, ond cyn distrywiad ei fyddin: fy meddwl yw geiriau y prophwyd Esay, "Mi a'th waredaf di a'r ddinas hon o law brenin Assyria, diffynaf y ddinas hon er fy mwyn fy hun, ac er mwyn Dafydd fy ngwas."

§ 2 Bren. xx. 5, 6.

law ein gobaith, a wneir yn gredadwy trwy weithrediadau o gyffelyb natur. Ac wedi gofyn o Esay iddo pa ryw arwydd a chwennychai gael ei arddangos? efe a ddymunodd beri o hono i gysgod yr haul yr hwn a aethai eisoes i lawr ddeg o risiau yn ei dŷ ef,* i ddychwelyd drachefn i'r lle yr ydoedd o'r blaen. Ac wedi i'r prophwyd weddio ar Dduw i ddangos yr arwydd yma i'r brenin, efe a gafodd yr olwg a ddymunodd, ac a'i rhyddhawyd o'i afiechyd; ac efe a aeth i fynu i'r deml, ym mha le yr addolodd Dduw, ac y gwnaeth iddo addunedau.

Ar yr amser hwn llywodraeth yr Assyriaid a ddadymchwelwyd gan y Mediaid.† Ond brenin Babilon, enw'r hwn oedd Baladan, a ddanfonodd gennadwyr at Hezeciah gyd ag anrhegion; gan arwyddo ei ewyllys o fod yn gyfeillgar ac mewn cyngrair ag ef. Felly efe a dderbyniodd y cennadau yn llawen, gan eu gwledda hwynt, a dangos iddynt ei drysorau, a'i arfogaeth, a'r cyfoeth yr oedd yn ei feddiannu mewn meini gwerthfawr ac aur; ac a roddodd anrhegion iddynt i'w dwyn i Babilon, ac a'u hanfonodd yn ol at y brenin. Ar ba achos y prophwyd Esay a ddaeth atto, gan ymofyn o ba le y daethai y cennadau hynny? i'r hyn yr attebodd ddyfod o honynt o Babilon, oddiwrth y brenin; a darfod iddo ef ddangos iddynt yr hyn oll oedd ganddo; fel trwy gael golwg ar ei gyfoeth a'i arfogaeth y gallent ddeall y llawnder yr oedd efe ynddo, a'i fynegi i'r brenin. Ond y prophwyd a ail-attebodd, ac a ddywedodd, "Gwybydd di hyn, ar ol ychydig amser y trysorau hyn o'r eiddot ti a ddygir i Babilon; canys Duw a ragfynegodd y daw y cyfryw beth i ben." Wrth glywed y geiriau hyn Hezeciah a drallodwyd, ac a ddywedodd ei fod ef o'i ran ei hun yn anewyllysgar i'w genedl syrthio i'r fath drallodion: etto gan nad oedd yn bossibl cyfnewid yr hyn a fwriadasai Duw, efe a weddiodd fod i heddwch barhau yn ei amser ef.‡ Berosus hefyd sy'n crybwyll am y Baladan hwn, brenin Babilon. Yn awr, am y prophwyd hwn Esaiah, yr ydoedd, fel yr addef pawb, yn ddyn rhyfedd o dduwiol, ac yn adrodd gwirionedd. Ac oddiar sicrwydd na 'sgrifenasai ddim ag oedd anwir, efe a ysgrifenodd i lawr ei brophwydoliaethau, ac a'u gadawodd yn llyfr o'i ol; fel y bernid am eu cyflawniad oddiwrth y pethau a ddigwyddai gan y cenhedlaethau ar ol. Ac nid y prophwyd hwn yn unig a wnaeth hynny, ond eraill y rhai oeddynt ddeuddeg § mewn nifer, a wnaethant yr un peth. A pha beth bynnag a gyflawnir yn ein mysg ni, yr hyn sydd dda neu yr hyn sydd ddrwg, y mae'n dyfod o amgylch yn ol y prophwydoliaethau.

## PENNOD III.

*Am annuwioldeb Manasseh, canlyniedydd Hezeciah yn llywodraeth y Deyrnas; ei edifeirwch yn ei gaethiwed, a'i adferiad i'w Frenhiniaeth.*

WEDI i'r brenin Hezeciah fyw tros y cyfrwng o amser a grybwyllwyd eisoes, ac aros tros yr holl amser hwnnw mewn heddwch, efe a fu farw; wedi cwblhau y bedwaredd flwyddyn ar ddeg a deugain o'i oedran, a theyrnasu naw

* Ymherthynas i wrthdro neu fynediad y cysgod hwn yn ol, un ai yn awr-ddangoseg (dial) neu ar risiau y palas brenhinol a adeiladwyd gan Ahaz, pa un a ydoedd yn cael ei wneud yn naturiol, oddiar wyrthiol gylch-droad y ddaear, yn ei beunyddiol symmudiad, i fyned yn ol o'r dwyrain i'r gorllewin, tros amser; a'i ddychwelyd drachefn i'w hen naturiol gylch-droad o'r gorllewin i'r dwyrain; neu pa un a ydoedd yn ymddangosiadol yn unig, ac yn cael ei wneuthur oddiwrth awyrol seren-foreu; (o ba ryw fath, er mai mewn dull neu agwedd arall yr ymddangosodd amryw i ni yn ddiweddar o flynyddoedd,) y rhai oedd gyffelyb i symmudiad yr haul yn ol, tra 'r oedd cwmmwl yn gorchuddio y gwir haul, ni ellir yn awr ei benderfynu. Philosophyddion ac Astronomyddion a ogwyddant yn naturiol at y tybiau diweddaf. Pa fodd bynnag, y mae 'n rhaid sylwi fod Josephus yn ymddangos i'w ddeall mewn modd amgen nag yr ydym ni yn gyffredin; ddarfod gwneuthur i'r cysgod brysuro cymmaint ar y cyntaf ym mlaen, ag ei gwnaethpwyd i fyned yn ol wedi hynny; ac felly nid oedd y diwrnod fyrrach neu hwy nag arferol; yr hyn, mae 'n rhaid ei gyffesu, sy 'n cyttuno oreu i gyd ag astronomyddiaeth, diffygiadau pa ryw un hynach na 'r amser hwnnw, a a sylwiwyd arnynt yn digwydd ar yr un amserau o'r dydd a phe buasai y gwyrthiau yma erioed heb ddigwydd, &c. Wedi 'r cwbl, yr arwydd rhyfeddol yma a ymddengys ei fod nid yn unig yn berthynol i Judea; eithr a welwyd, neu o'r hyn lleiaf, a glybuwyd am dano yn Babilon hefyd, fel y gwybyddir oddiwrth 2 Cron, xxxii. 31, o ba le y deallwn i'r cennadwyr gael eu hanfon at Hezeciah; ym mhlith pethau eraill, i ymofyn ynghylch y rhyfeddod a fuasai yn y tir. Cymmerir sulw o hyn hefyd gan dad Sirach, Ecclus. xlviii. 23. Gwelwch dystiolaeth hynafiaethol hefyd o'r blaen, yn y nod ar Joshua x. Hynaf. V. 1.

† Yr ymadrodd yma gan Josephus, ynghylch ddarfod i'r Mediaid, ar ddistrywiad byddin Assyria, ddadymchwelyd y llywodraeth, a ymddengys gyd â gormod o gadernid. Canys er iddynt yn ebrwydd fwrw ymaith yr iau Assyriaidd, a gosod Dejoces i fynu yn frenin iddynt eu hunain; etto bu cryn o amser cyn i'r Mediaid a'r Babiloniaid ddadymchwel Ninefeh; ac ym mhen rhai cenhedlaethau y bu i'r Mediaid a'r Persiaid tan Cyaxaras a Cyrus ddadymchwel yr ymmerodraeth Assyriaidd neu Fabilonaidd, ac y cymerasant Babilon.

‡ 2 Bren. xx. 19.

§ Gwelwch Draethawd ar yr Hen Dest. Chwanegiad.

ar hugain* o flynyddau. Ond wedi i'w fab Manasseh, enw mam yr hwn oedd Hephzibah o Jerusalem, gymmeryd y deyrnas, efe a ymadawodd â fl'ordd ei dad yn ei ymddygiad, ac a syrthiodd i ddull o ymarweddiad cwbl groes i'r unrhyw; gan ddangos ei hun yn ei ymarferiadau yn dra annuwiol ym mhob ystyriaeth: heb adael o'r neilldu un math o anwiredd, ond dilyn y troseddiadau hynny o eiddo'r Israeliaid, trwy wneuthur pa rai yn erbyn Duw y difethwyd hwynt. Canys yr oedd efe wedi ymgaledu gymmaint ag iddo halogi teml Dduw, y ddinas, a'r holl wlad. Canys wrth ymosod allan i ddirmygu Duw, efe a laddodd yr holl ddynion cyfiawn ag oedd ym mysg yr Hebreaid. Ac ni arbedai efe y prophwydi, canys efe a laddai rai o honynt yn feunyddiol, nes i Jerusalem fyned yn llifeiriant o waed.† Felly Duw a ddigiodd wrth y gweithredoedd hyn, ac a ddanfonodd brophwydi at y brenin, ac at y llïaws, trwy y rhai y bygythiodd yr unrhyw flinderau a ddeuai arnynt, ag yr oedd eu brodyr yr Israeliaid yn awr tanynt, o herwydd eu cyffelyb ammharch i Dduw. Ond y dynion hyn ni chredent eu geiriau, trwy wrando y rhai y gallasent gael y fantais o ddiangc rhag yr holl drueni hwnnw: etto hwy a gawsant ddysgu gwybod fod yr hyn oll a lefarai y prophwydi wrthynt yn wirionedd.

Yn awr tra y parhasant hwy yn yr unrhyw yrfa mewn bywyd, Duw a gyfododd i fynu ryfel i'w herbyn oddiwrth frenin Babilon a Chaldea; yr hwn a ddanfonodd fyddin yn erbyn Judea, ac a ddifrododd y wlad, ac a ddaliodd Manasseh trwy fradwriaeth, gan orchymmyn ei ddwyn atto ef, fel y byddai tan ei awdurdod, i osod pa ryw gospedigaeth a welai yn dda arno. Ond Manasseh yn canfod pa fath gyflwr truenus yr oedd ynddo, ac yn cyfrif ei hun megis yn achos o'r cwbl, a ymbiliodd â Duw am wneud ei elyn yn dyner ac yn drugarog wrtho. Yn ganlynol Duw a wrandawodd ei weddi, a Manasseh a ryddhawyd gan frenin Babilon, ac a ddiangodd ar y perygl yr oedd ynddo. A phan ddaeth i Jerusalem, efe a ymdrechodd, pe buasai bossibl, i fwrw allan o'i goffadwriaeth ei bechodau gynt yn erbyn Duw, am ba rai yr ydoedd yn awr yn edifarhau, ac ymroddi ei hun i fuchedd dra chrefyddol. Efe a sancteiddiodd y deml, ac a burodd y ddinas: ac am weddill ei ddyddiau nid oedd a'i fwriad ar ddim ond dychwelyd diolch i Dduw am ei waredigaeth, ac ymgadw yn ei ffafr ef tros ei holl fywyd. Efe hefyd a ddysgodd y llïaws i wneud yr unrhyw, megis eu bod yn agos i brofi y cyffelyb drallod ag y syrthiasai efe iddo trwy wahanol ymddygiad. Efe hefyd a ail adeiladodd yr allor, ac a offrymmodd yr aberthau cyfreithlon a orchymmynasai Moses: ac wedi iddo adsefydlu yr hyn a berthynai i'r dwyfol addoliad, fel ag y dylai fod, efe a ofalodd am ddiogelwch Jerusalem. Ni ddarfu iddo yn unig adgyweirio yr hen furiau gyd â diwydrwydd mawr, ond a chwanegodd fur arall at y rhai o'r blaen.‡ Efe hefyd a adeiladodd dyrau tra uchel, ac a gadarnhaodd le'r amddiffynfeydd o flaen y ddinas, gan eu diwallu â lluniaeth o bob rhyw. Ac yn wir, wedi cyfnewid ei yrfa o'r blaen, efe a arweiniodd ei fywyd yn y fath fodd tros yr amser i ddyfod, fel ag o'r pryd hynny y dychwelodd at dduwioldeb, efe a gyfrifwyd yn ddyn dedwydd, ac yn batrwm i eraill i'w ddilyn. Wedi iddo gan hynny fyw saith mlynedd a thrugain, efe a ymadawodd â'r bywyd hwn, wedi teyrnasu pymtheg a deugain § o flynyddau, ac a gladdwyd yn ei erddi ei hun: a'r deyrnas a ddisgynnodd i'w fab Amon;|| mam yr hwn oedd Meshulemeth o'r ddinas Jotbath.

## PENNOD IV.

*Am deyrnasiad Amon a Josiah; ac am ragfynegiadau Huldah y Brophwydes.*

AMON a ddilynodd yr ymarferiadau hynny o'r eiddo ei dad, y rhai a lynodd efe wrthynt tra 'r ydoedd yn ieuangc. Felly fe luniwyd cydfradwriaeth i'w erbyn gan ei weision, ac efe a laddwyd yn ei dy ei hun, wedi iddo fyw

* O'r Fl. 725 hyd y Fl. 693 C. C. † 2 Bren. xxi. 16.
‡ 2 Cron. xxxiii. 14. § O'r Fl. 699 hyd y Fl. 643.
|| Enw y brenin hwn, yn rhai copiau o'r Septuagint, yn Josephus yma, ac yn un copi o'r gosodiadau Apostolaidd, II. 23, 24, nid yw Amon, neu Ammon, fel yn ein copiau Hebreaidd, ond Amos.

pedair blynedd ar hugain, a theyrnasu dwy. Ond y lliaws a gospasant y rhai a laddodd Amon, ac a'i claddasant ef gyd â'i dad, ac a roddasant y deyrnas i'w fab Josiah, yr hwn ydoedd wyth mlwydd o oedran.* Ei fam ef oedd o'r ddinas Boscath, a'i henw ydoedd Jedidah. Yr oedd efe o dymmer dra rhagorol, ac o natur rinweddol, ac a ddilynodd weithredoedd y brenin Dafydd, fel pattrwm a rheol iddo yn holl ystod ei fywyd. Pan oedd yn unig ond deuddeng mlwydd o oedran, efe a roddodd amlygrwydd o'i duedd crefyddol a chyfiawn; canys efe a ddygodd y bobl i ddull defosiynol o fucheddu; ac a'u hannogodd i ddodi heibio y dychymmygion oedd ganddynt am eu heilunod, trwy eu cyfrif yn dduwiau, ac addoli yn unig eu Duw eu hunain. A thrwy fyfyrio ar weithredoedd ei hynafiaid, efe yn bwyllog a ddiwygiodd yr hyn a wnaethant hwy ar gam, megis un mewn cyflawn oedran, ac fel un yn dra galluog i farnu yr hyn a ddylid ei wneuthur; a'r hyn a wnaethent yn iawn, efe a ddaliodd sulw arno trwy'r holl wlad, ac a ddilynodd yr unrhyw. Ac fel hyn y gweithredodd yn ol doethineb a synwyr ei ddeall ei hun, ac mewn cydymagweddiad â chyngor ac hyfforddiadau yr henuriaid.† Canys trwy ddilyn y cyfreithiau yr oedd ddarfod iddo lwyddo cymmaint yn nhrefn ei lywodraeth, ac mewn crefydd ymherthynas i'r dwyfol addoliad. A hyn a ddigwyddodd o herwydd na welid camweithredoedd y brenhinoedd o'r blaen ddim mwy, ond wedi cwbl ddiflannu ymaith. Canys y brenin a aeth o amgylch y ddinas a'r holl wlad, ac a dorrodd i lawr y llwyni a wnaethid i addoli duwiau dieithr, ac a ddymchwelodd eu hallorau; ac os oedd unrhyw anrhegion wedi eu cyssegru iddynt gan yr hynafiaid, efe a'u hanffurfiodd hwynt, ac a'u tynnodd i lawr. A thrwy'r moddion hyn efe a ddychwelodd y bobl yn ol o'u gwag dybiau ymherthynas iddynt at addoliad Duw. Efe hefyd a offrymmodd ei aberthau arferedig, a'i boeth-offrymmau ar yr allor. Ymhellach efe a ordeiniodd amryw farnwyr, a golygwyr achosion y cyffredin bobl, fel yr iawn drefnent y matterion a berthynai yn wahaniaethol iddynt, a gofalu am wneuthur cyfiawnder uwchlaw pob peth, a'i ddosparthu gyd â'r un gofal ag a gymmerent tros yr eiddynt eu hunain. Efe hefyd a ddanfonodd tros yr holl wlad i ddymuno ar y rhai a welai yn dda ddwyn aur ac arian gyd â hwy i adgyweirio'r deml, yn ol gallu ac ewyllys pob un. Ac wedi dwyn yr arian i mewn, efe a wnaeth Maaseiah yn llywodraethwr y ddinas, Shaphan yn ysgrifennydd, Joah yn gofiadur, ac Eliacim yn archoffeiriad, ceidwaid y deml, a'r costau perthynol i'r unrhyw. Y personau hyn ni wnaethant ddim oediad, ac ni roddasant y gwaith heibio oll; ond a barottoisant gelfyddydwyr, a pha beth bynnag oedd berthynol i'r adnewyddiad hwn, gan ymosod yn dynn yng nghylch y gwaith. Felly'r deml a adgyweiriwyd trwy'r moddion hyn; ac a ddaeth yn arwydd amlwg o barch y brenin i wasanaeth Duw.

Yn y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad,‡ Josiah a anfonodd at Eliacim yr archoffeiriad, ac a roddes orchymmyn i fwrw phiolau, dysglau, a chostrelau at weinidogaeth y deml; ac heblaw hyn, bod iddynt ddwyn yr aur a'r arian oedd ym mysg y trysorau, a threulio y rhai hynny yr un modd, yn gwneuthur llestri i'r deml. Ond fel yr oedd yr archoffeiriad yn dwyn allan yr aur, efe a gafodd lyfrau cyssegredig Moses, a osodasid i fynu yn y deml; a phan ddug hwynt allan, efe a'u rhoddodd at Shaphan yr ysgrifennydd: yr hwn pan ddarllennodd hwynt, a ddaeth at y brenin, ac a hyspysodd iddo fod y cwbl wedi ei orphen a archasai efe ei wneuthur. Efe hefyd a ddarllennodd y llyfrau trosodd iddo ef: yr hwn pan glywodd eu darllain hwynt, a rwygodd ei wisg, ac a alwodd am Eliacim yr archoffeiriad, a Shaphan yr ysgrifennydd, ac am eraill o'i neillduol gyfeillion, gan eu hanfon at Huldah y brophwydes, gwraig Shalum; yr hwn Shalum oedd ŵr o uchelradd, ac o dylwyth godidog: ac efe a archodd iddynt fyned atti hi, a mynegi ei fod yn deisyfu iddi wneuthur Duw yn heddychlon, ac ymdrechu i'w ynnill i fod yn ffafrol tu ag attynt: oblegid fod achos i ofni ar gyfrif troseddiadau eu tadau o'r blaen, eu bod mewn

* 2 Cron. xxxiv. 1.

† Ysgatfydd y Sanhedrim.

‡ Bl. 651.

perygl o fyned i gaethiwed, a chael eu bwrw allan o'u gwlad eu hunain; rhag eu dwyn mewn eisiau o bob peth, ac felly diweddu eu dyddiau yn druenus. Pan glybu y brophwydes hyn, hi a barodd i'r negeseuwyr ddychwelyd at y brenin, a dywedyd, "Fod Duw eisoes wedi rhoddi dedryd i'w herbyn, er eu difetha hwynt, a'u bwrw allan o'u gwlad, a'u hymddifadu o'r holl happusrwydd yr oeddynt yn ei fwynhau: yr hon ddedryd ni allai neb ei gochelyd, gan ei fod wedi ei datgan ar gyfrif eu troseddiad o'r cyfreithiau, ac o herwydd nad edifarhasent er's cyhyd o amser, tra 'r oedd y prophwydi yn eu cynghori i wellhau, ac yn rhagfynegi y gosp a ddilynai eu hymarferiad annuwiol; yr hwn fygythiad a fyddai Duw yn sicr gyflawni arnynt; fel y gwybyddent mai Duw oedd efe, ac na thwyllodd hwynt mewn dim, ymhertbynas i'r hyn a ddywedasai trwy 'r prophwydi: etto, mai o herwydd fod Josiah yn ddyn cyfiawn, y byddai iddo yn bresennol oedi y blinderau hynny; ond mai ar ol ei farwolaeth yr anfonai ar y lliaws y cyfryw drallodion ag a fwriadodd iddynt."*

Felly y negeseuwyr ar y brophwydoliaeth hon o eiddo 'r wraig, a ddaethant ac a'i mynegasant i'r brenin. Ar hyn efe a ddanfonodd genhadon i bob lle, i orchymmyn i'r offeiriaid a'r Lefiaid ddyfod ynghyd i Jerusalem, a pheri i'r rhai o bob oedran fod yn bresennol. A phan ymgasglasant ynghyd, efe yn gyntaf a ddarllenodd iddynt y llyfrau cyssegredig; ar ol hynny efe a safodd ar bulpyd ynghanol y lliaws, ac a'u rhwymodd i wneuthur cyfammod trwy lw, ar iddynt addoli Duw, a chadw cyfreithiau Moses. Yn ganlynol hwy a roddasant eu cydsyniad yn ewyllysgar; a chymmerasant arnynt wneuthur yr hyn yr oedd y brenin yn ei annog. Felly hwy yn y cyfamser a offrymmasant aberthau mewn modd tra chrefyddol; gan erfyn ar Dduw i fod yn drugarog ac yn raslawn iddynt. Efe hefyd a orchymmynodd i'r archoffeiriad, os ydoedd yn y deml ddim o'r llestri a gyssegrasid i eilunod, neu dduwiau dieithr, ar fod iddynt eu bwrw allan. Felly wedi cael llawer o'r fath lestri ynghyd, efe a'u llosgodd hwynt, ac a daenodd eu lludw o amgylch; gan ladd offeiriaid yr eilunod, a'r nad oeddynt o deulu Aaron.

Wedi iddo wneuthur fel hyn yn Jerusalem, efe a aeth allan i'r wlad, ac a lwyr ddinystriodd yr adeiladau a wnaethid ynddi gan y brenin Jeroboam, er anrhydedd i dduwiau dieithr: ac efe a losgodd esgyrn y gau-brophwydi ar yr allor honno a adeiladasai Jeroboam gyntaf.† Ac fel y darfu i'r prophwyd Jadon, yr hwn a ddaeth at Jeroboam pan oedd yn offrymmu ei aberth, a phan oedd yr holl bobl yn ei glywed ef yn rhagfynegi yr hyn a ddeuai i ben; sef, y byddai i ryw un o deulu Dafydd, Josiah wrth ei enw, gyflawni yr hyn a grybwyllir yma; ac fe ddigwyddodd i'r rhagfynegiadau hynny gymmeryd effaith ym mhen tri chant ac un a thrugain o flynyddau. ‡

Ar ol y pethau hyn, Josiah a aeth at y cyfryw Israeliaid eraill, ag oedd wedi diangc rhag y caethiwed tan yr Assyriaid; ac a'u perswadiodd i ymattal oddiwrth eu hymarferiadau annuwiol; a dodi heibio anrhydeddu duwiau dieithr; ond i iawn addoli eu Duw hollalluog eu hunain, ac i lynu wrtho ef. Efe hefyd a chwiliodd eu tŷau, y pentrefi, a'r dinasoedd, wrth feddwl y gallai rhai fod ag eilunod ynddynt yn guddiedig. Ië yn wir, efe a dynnodd ymaith gerbydau yr haul § a osodid i fynu yn ei dŷ brenhinol; gan dywysogion o'i flaen; a pha beth bynnag heblaw hynny ag oeddynt hwy yn ei addoli megis duw: ac wedi iddo y modd hwn buro yr holl wlad, efe a alwodd y bobl i Jerusalem, ac a gadwodd yno ŵyl y bara croyw, a'r hyn a elwir y pasc. Efe hefyd a roddes i'r bobl yn basc-aberthau, drugain mil o fynnod geifr ac ŵyn, a thair mil o ychain yn boeth-

* Am y llyfr uchod o gyfreithiau Moses, a osodasid i fynu yn y tŷ sanctaidd ei hun, yr hwn a gynhwysai brif gyfreithiau cyfiawnder, ac nid ei bum llyfr yn gyflawn, yr hwn a osodasid i fynu yn unig yn un o gynteddoedd y deml---gwel yn saesonaeg Horeb Covenant revived. t. d. 107, 108.

† 2 Bren. xxii. 15---20 ‡ 2 Bren. xxiii. 15.

§ Mae 'n anhawdd cymmodi yr hanes yn 2 Bren. xxiii. 11, a'r adroddiad yma yn Josephus, a chyfieithu yr hanes yn Josephus yn gywir, copiau 'r hwn a feddylir eu bod yma yn amherffaith. Pa fodd bynnag, yr ystyr gyffredin o bob un a ymddengys ei fod yn hyn: Fod amrywiol gerbydau gyd â'u meirch, i eilun yr haul; neu i Moloch; yr hwn a allai fod yn cael ei ddwyn o amgylch mewn tyrfa-rodiad, a'i addoli gan y bobl. Y cerbydau hyn yn awr a symmudwyd ymaith, fel y dywed Josephus; neu, fel y dywed llyfr y Brenhinoedd, a losgwyd yn tân gan Josiah.

offrwm. Yr offeiriaid pennaf hefyd a roddasant i'r offeiriaid eraill erbyn y pasc, ddwy fil a chwe chant o ŵyn; a'r rhai pennaf o'r Lefiaid a roddasant i'w brodyr bum' mil o ŵyn, a phum' cant o ychain. Trwy ba foddion llawnder mawr o aberthau a offrymmwyd yn ol cyfreithiau Moses, tra 'r oedd pob offeiriad yn egluro 'r achos, ac yn gweinidogaethu i'r bobl. Ac yn wir ni bu i un gŵyl arall gael ei chadw yn y modd hwn gan yr Hebreaid er amser Samuel y prophwyd;* a llawnder yr aberthau yn awr ydoedd yr achos i bob peth gael ei gyflawni yn ol y cyfreithiau, ac yn ol dull arferiad eu tadau.

## PENNOD V.

*Am Ymgyrch Necho, Brenin yr Aipht; marwolaeth Josiah; Caethiwed Jehoahaz ei ddilynydd yn y frenhiniaeth; a dyfodiad Jehoiacim i'r frenhiniaeth; hefyd am y prophwyd Jeremiah ac Ezeciel.*

YN awr, Necho brenin yr Aipht, a gododd fyddin o wŷr, † ac a wnaeth ymgyrch tu ag afon Euphrates, mewn trefn i ymladd â'r Mediaid a'r Babiloniaid, y rhai a ddymchwelasent lywodraeth yr Assyriaid.‡ Canys yr oedd dymuniad ganddo i deyrnasu ar Asia. Ond wedi ei ddyfod ef i'r ddinas Mendes, yr hon oedd yn perthynu i deyrnas Josiah, efe a ddygodd fyddin gyd ag ef i luddias ei fynediad ym mlaen trwy ei wlad, yn ei ymgyrch yn erbyn y Mediaid. Yn awr, Necho a ddanfonodd gennad at Josiah, i fynegi nad oedd yn gwneud yr ymgyrch hwn yn ei erbyn ef, ond prysuro yr ydoedd i fyned tu ag Euphrates; ac a ddymunodd na byddai raid iddo ymladd i'w erbyn ef, o herwydd lluddias i'w luoedd fyned trwy ei derfynau. Yr wyf yn dychymmygu mai tynghedfen § oedd yn ei yrru ym mlaen yn hyn, fel y cymmerai achlysur i'w erbyn. Canys fel yr oedd yn trefnu ei fyddin, ‖ ac yn marchogaeth o amgylch yn ei gerbyd o'r naill ochr i'r llall, un o'r Aiphtiaid a annelodd saeth atto ef, ac a roddes ddiwedd ar ei awyddfryd i ymladd: canys wedi ei drwmglwyfo, efe a orchymmynodd i arwydd o enciliad gael ei swnio trwy ei fyddin; ac efe a ddychwelodd i Jerusalem, ac a fu farw o'r archoll a gafodd megis uchod; ac efe a gladdwyd yn anrhydeddus ym meddrod ei dadau, wedi byw o hono bedair blynedd ar bymtheg ar hugain, a theyrnasu o honynt un ar ddeg ar hugain. ¶ Ond yr holl bobl a alarasant yn fawr am dano; gan wylo a gofidio o'i herwydd ef tros lawer o ddyddiau. A'r prophwyd Jeremiah a gyfansoddodd farwnad ** o alar am dano ef; yr hon sydd etto mewn bod. Y prophwyd hwn ym mhellach a dystiodd ym mlaenllaw am y trallodion oedd yn dyfod ar y ddinas. Efe hefyd a adawodd o'i ol yn ysgrifenedig ddescrifiad o ddinystr ein cenedl a ddigwyddodd yn ddiweddar yn ein dyddiau ni, ac o ddymchweliad Babilon. Ac nid efe oedd yr unig brophwyd a draddododd y fath ragfynegiad ym mlaenllaw i'r lliaws; ond felly y gwnaeth Ezeciel hefyd, yr hwn oedd y cyntaf a ysgrifenodd ac a adawodd o'i ol ddau o lyfrau†† yn perthynu i'r achosion hyn. Yn awr y ddau brophwyd yma oeddynt offeiriaid wrth enedigaeth. Ond un o honynt, Jeremiah, ydoedd yn byw yn Jerusalem, o'r drydedd ‡‡ flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah, nes i'r ddinas a'r deml gael eu llwyr ddinystrio. Pa fodd bynnag, am yr hyn a ddigwyddodd i'r prophwyd yma, ni a adroddwn yn ei briodol le.

Ar farwolaeth Josiah, ei fab, Jehoahaz wrth ei enw, a gymmerodd y deyrnas, ac efe ynghylch tair blwydd ar hugain o oedran. Efe a deyrn-

* 2 Cron. xxxv. 18. † Bl. 610.

‡ Hwn sydd adroddiad hynod mewn amseryddiaeth yn Josephus; mai ynghylch diwedd teyrnasiad Josiah, y Mediaid a'r Babiloniaid a ddymchwelasant lywodraeth yr Assyriaid; neu, yngeiriau parhawr Tobit, mai cyn marw Tobias, glywed o hono ef am ddinystr Ninefeh, yr hon a gymmerasid gan Nebuchodonosor, y Babiloniad, ac Assuerus y Mediad. Tob. xiv. 15. Am yr hyn gwel Gyssylltiad yr Hen Destament a'r Newydd, gan y Deon Prideaux, tu a'r flwyddyn 612.

§ Neu Ddwyfol Ragluniaeth; canys y mynediad hwn ym mlaen ydoedd wrthwyneb i ddwyfol rag-gyhuddiad.

‖ Y Frwydr hon a gyfrifir yn gyfiawn yr un ag y mae Herodotus yn ei grybwyll, pan ddywed i Necho ymgyssylltu mewn brwydr â'r Assyriaid (neu Iuddewon) yn Magdolum (Megido.) ac a'u gorchfygodd, fel y sylwir yma gan Dr. Hudson.

¶ O'r Fl. 641, hyd y Fl. 610.

** Pa un a oedd Josephus, oddiwrth 2 Cron. xxxv. 25. yn meddwl yma lyfr Galarnad Jeremiah, sydd yn ein Bibl, ac yn perthynu i ddinystr Jerusalem tan Nebuchodonosor; neu ryw gynghanedd alarus arall yn awr wedi myned ar goll, ond i'w chael yn nyddiau Josephus, ac a berthyn yn neillduol i farwolaeth Josiah, nis gellir yn awr ei wybod yn sier.

†† Am y ddau lyfr yma o eiddo Ezeciel, gwel yn saesonaeg Authentic Records, Rhan II, t. d. 778.

‡‡ Jer. i. 2.

asodd yn Jerusalem; a'i mam ydoedd Hamutal o ddinas Libnah. Dyn annuwiol ydoedd, a halogedig yn ei fuchedd. Ond fel yr oedd brenin yr Aipht yn dychwelyd o'r frwydr, efe a ddanfonodd am Jehoahaz i ddyfod atto i ddinas Hamath,* yr hon sy'n perthynu i Syria; a phan ddaeth, efe a'i dododd mewn rhwymau, ac a osododd y deyrnas i frawd iddo o du ei dad, enw yr hwn oedd Eliacim, ac a newidiodd ei enw i Jehoiacim; gan osod teyrnged ar y wlad o gan' talent o arian, ac un talent o aur: a'r swm yma o arian a dalodd Jehoiacim mewn ffordd o deyrnged. Ond Necho a ddygodd ymaith Jehoahaz i'r Aipht, ym mha le y bu farw, wedi iddo deyrnasu tri mis a deng niwrnod. Yn awr, enw mam Jehoiacim oedd Zehudah, o ddinas Rumah. Yr oedd efe o duedd annuwiol, a'i ogwydd ar ddrygioni; ac nid oedd yn grefyddol tu ag at Dduw, nac yn weddaidd tu ag at ddynion.†

## PENNOD VI.

*Am Ymgyrch Nebuchodonosor yn erbyn Brenhinoedd yr Aipht a Judea; Marwolaeth Jehoiacim a'i ddilyniad gan ei fab Jehoiacin.*

YN y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim, un a'i enw Nebuchodonosor a gymmerodd y llywodraeth ar y Babiloniaid; yr hwn ar yr un pryd a aeth i fynu â byddin lïosog i'r ddinas Carchemish, yr hon oedd wrth Euphrates, ar gyfrif yr ymröad a wnaethai i fyned i ymladd â Necho brenin yr Aipht, o dan ba un yr oedd holl Syria yr amser hwnnw. A phan ddeallodd Necho fwriadau brenin Babilon, a bod yr ymgyrch hwnnw yn ei erbyn ef, ni ddiystyrodd ei amcan; ond a wnaeth frys gyd â byddin fawr o wŷr i Euphrates, i amddiffyn ei hun rhag Nebuchodonosor. Ac yn ol iddynt gyssylltu 'r frwydr, efe a orchfygwyd, a cholledwyd ef o amryw filoedd o'i wŷr. Felly brenin Babilon a aeth tros Euphrates, ac a oresgynnodd holl Syria, cyn belled a Pelusium, gan adael Judea. Ond wedi i frenin Babilon deyrnasu eisoes bedair blynedd, yr hon oedd yr wythfed o lywodraeth Jehoiacim ar yr Hebreaid, brenin Babilon a wnaeth ymgyrch gyd â byddinoedd grymmus yn erbyn yr Iuddewon, gan fygwth ar ei wrthodiad, wneuthur rhyfel i'w erbyn. Efe a ddychrynwyd wrth y bygythiad hwn, ac a brynodd ei heddwch ag arian; ac a dalodd y deyrnged a osodasid arno tros dair blynedd.

Ond ar y drydedd flwyddyn, wrth glywed fod brenin Babilon yn gwneud ymgyrch yn erbyn yr Aiphtiaid, ni thalodd ei deyrnged; etto efe a siommwyd yn ei obaith, canys ni feiddiai yr Aiphtiaid ymladd yr amser hwn. Ac yn wir y prophwyd Jeremiah a ragddywedodd iddynt bob dydd mor ofer oedd iddynt ymorphwys eu gobaith ar yr Aipht, a'r modd y dadymchwelid y ddinas gan frenin Babilon, ac y darostyngid y brenin Jehoiacim ganddo. Ond yr hyn a lefarai wrthynt y modd hwn ni phrofodd o ddim llesâd iddynt, o herwydd na chai neb o honynt ddiangc. Canys y llïaws a'r llywodraethwyr pan glywsant ef ni ofalent ynghylch dim a ddywedai wrthynt, ond anfoddloni i'w rybuddion; a chan gyfrif y prophwyd yn ddaroganydd yr hyn oedd ddrwg yn erbyn y brenin, hwy a gyhuddasant Jeremiah; ac wedi ei ddwyn o flaen y llys, hwy a ofynasant farn o gospedigaeth i gael ei roddi yn ei erbyn. Yn awr, yr holl weddill o honynt a roddasant eu llais am ei gondemniad; ond yr henuriaid yn bwyllog a anfonasant ymaith y prophwyd o gyntedd y carchardŷ, gan berswadio eraill i beidio gwneuthur niweid iddo. Canys hwy a ddywedasant mai nid efe oedd yr unig un a ragfynegodd am y dinystr a ddeuai ar y ddinas, ond fod Micah wedi arwyddo yr un peth o'i flaen ef, yn gystal a llawer o rai eraill; o ba rai ni ddioddefodd neb ddim gan y brenhinoedd

* Y ddinas hynafiaethol hon, Hamath, pa un a gyssylltir âg Arpad neu Aradus, ac â Damascus, 2 Bren. xviii. 34. Esay xxxvi. 19. Jer. xlix. 23. dinasoedd o Syria a Phoenicia, yn agos i gyffiniau Judea, ydoedd hefyd yn agos i'r un cyffiniau, er darfod er's hir amser ei llwyr ddifetha. Ac ni ddylai awdwyr diweddar freuddwydio yma am Antioch mewn rhyw bellder mawr oddiwrth yr un cyffiniau, neu am Epiphania, ac Emesa, neu rai o'u cymmydogion, megis eu bod etto yn rhy bell i sefyllfa 'r ddinas hon. Yr ydoedd, fel yr ydwyf yn tebygu, yn agos i fynedfa hynod rhwng Judea a Libanus neu Antilibanus, a elwid mor fynych yn fynedfa Hamath: Gwel Hynaf. VIII. 6. Reland Palestin. Ll. I. t. d. 119---122. a Maandrel, t. d. 24, 25. yr hwn sy 'n sylwi yn gywir oddiwrth 1 Macc. xii. 25, 37. fod yr afon Euphrates, ag oedd yn rhedeg ryw gymmaint i'r gogledd o Sidon, yn rhedeg hefyd trwy 'r wlad yma o Amathis, neu Hamath. Gwel Hynaf. xiii. 5. ag sydd yn cywrain benderfynu sefyllfa 'r wlad honno.

† 2 Cron. xxxvi. 5.

a deyrnasasant y pryd hwnnw, ond a'u hanrhyddeddent hwy fel prophwydi Duw. Felly hwy a lonyddasant y lliaws â'r geiriau hyn, ac a achubasant Jeremiah rhag y gospedigaeth i ba un y condemniasid ef.* Yn awr, wedi darfod i'r prophwyd hwn ysgrifennu ei holl brophwydoliaethau, a'r bobl yn ymprydio, ac yn ymgynnull i'r deml, ar y nawfed mis o'r bummed flwyddyn i Jehoiacim, efe a ddarllenodd y llyfr a gyfansoddasai, yn cynnwys ei ragfynegiad o'r hyn oedd i ddyfod ar y ddinas, y deml, a'r holl liaws. A phan glywodd y llywodraethwyr am dano, hwy a gymmerasant y llyfr oddiwrtho, gan beri iddo ef a Baruch yr ysgrifennydd fyned i'w ffordd, rhag eu datguddio gan ryw un neu gilydd. Yna hwy a ddygasant y llyfr at y brenin, yr hwn a roddes orchymmyn ger bron ei gyfeillion ar fod i'w ysgrifennydd ei ddarllen: ond pan glybu ei gynnwysiad yr oedd yn ddigllon, ac efe a'i rhwygodd, ac a'i taflodd i'r tân, fel y difawyd ef. Efe hefyd a orchymmynodd iddynt chwilio am Jeremiah, a Baruch yr ysgrifennydd, a'u dwyn atto ef fel y cospid hwynt. Pa fodd bynnag, diangasant y waith hon rhag ei ddigter.

Ym mhen ychydig amser yn ol hyn, brenin Babilon a wnaeth ymgyrch yn erbyn Jehoiacim; yr hwn a'i derbyniodd ef i'r ddinas; a hynny trwy ofn y rhagddywediadau o'r blaen gan Jeremiah; gan feddwl na ddioddefai ddim ag oedd yn boenydiol, o herwydd na chauasai'r pyrth, ac nad ymladdasai i'w erbyn. Etto pan ddaeth efe i'r ddinas, ni sylwiodd ar y cyfammodau a wnaethai, ond efe a laddodd y rhai oedd ym mlodau eu hoedran, a'r rhai ag oedd o raddau uchaf, ynghyd â'u brenin Jehoiacim, yr hwn a orchymmynodd ei fwrw tros y muriau heb gladdedigaeth iddo; ac a osododd ei fab Jehoiacin yn frenin ar y wlad, ac ar y ddinas. Efe hefyd a gymmerodd amryw o'r pennaethiaid yn gaeth-weision; sef, tair mil mewn nifer, ac a'u harweiniodd ymaith i Babilon. Ym mhlith y rhai yr oedd y prophwyd Ezéciel, yr hwn nid oedd ond ieuangc y pryd hynny. A hyn a fu diwedd y brenin Jehoiacim, pan fuasai fyw un mlynedd ar bymtheg ar hugain, a theyrnasu o hono un ar ddeg,† Ond efe a ddilynwyd yn llywodraeth y deyrnas gan Jehoiacin, mam yr hwn ydoedd Nehushta, dinasyddes o Jerusalem. Efe a deyrnasodd dri mis a deg diwrnod.

## PENNOD VII.

*Am ddiorseddiad Jehoiacin gan y Babiloniaid; ei ddilyniad gan Zedeciah; a charchariad y Prophwyd Jeremiah.*

AR ol i frenin Babilon osod y deyrnas i Jehoiacin, efe a edifarhaodd am yr hyn a wnaethai; gan ofni rhag iddo godi gwrthryfel i ddial marwolaeth ei dad. Gan hynny efe a anfonodd fyddin i warchae ar Jehoiacin yn Jerusalem.‡ Ond o herwydd ei fod ef o dymmer dda a chyfiawn,§ nid oedd yn ewyllysio peryglu'r ddinas ar ei gyfrif ef; ond efe a gymmerodd ei fam a'i garennydd, ac a'u rhoddodd tan ofal y blaenoriaid a anfonasid gan frenin Babilon; ac a wnaeth dderbyniad o'u llwon, na fyddai iddynt hwy na'r ddinas ddioddef dim niweid. Y cyttundeb yma, pa fodd bynnag, ni sylwiwyd arno tros un flwyddyn: canys brenin Babilon a roddes orchymmyn i flaenoriaid ei luoedd, i gymmeryd y rhai oll oedd yn y ddinas yn gaethion; yn gystadl yr ieuengctyd a'r crefftwyr, a'u dwyn yn rhwym atto ef: eu nifer oedd deng mil, wyth gant, a deuddeg ar hugain; ac hefyd Jehoiacin, ei fam, a'i gyfeillion. Ac wedi dwyn y rhai hyn atto, efe a'u dododd mewn cadwraeth, ac a appwyntiodd Zedeciah, ewythr Jehoiacin, i fod yn frenin; gan orchymmyn iddo wneuthur llw ar gadw o hono y deyrnas mewn diogelwch iddo ef: ac na wnelai ddim cyfnewidiad, neu gyngrair o gyfeillgarwch â'r Aiphtiaid.

* Jer. xxvi. 8---94. † O'r Fl. 610 hyd y Fl. 599.

‡ 2 Bren. xxiv. 19.

§ Adroddiad Josephus am y Jehoiacin hwn yma, a ymddengys yn wrthwyneb i'r un hynny yn 2 Bren. xxiv. 19. 2 Cron. xxxvi. 9. a Jer. xii. 28. ac etto hanesiad Josephus a gadarnheir ganddo ei hun mewn lle arall; (Am y Rhyf. IV.2.) pob un o ba leoedd a gyttunant, ei fod ef mor rhywiog, ac o'r fath dueddi arbed ei bobl, ag iddo roddi dinas Jerusalem i fynu i ddwylaw'r Babiloniaid, trwy gymmeryd eu llw na wnaent ddim niweid i'r bobl, heb wrthwynebiad: yr hwn ewyllys da i'w bobl y mae yn ei fawr gammol yn y lle a grybwyllwyd ddiweddaf. Ysgatfydd i Josephus ddewis distewi ynghylch ei ymarweddiad eilunaddolgar yn y fath fyr deyrnasiad: a chanmol y dymmer hon o ddynoliaeth yn unig; heb nodi y gwrthwynebiad rhwng ei gopi ef a'r eiddom ni. Cymharwch ei adroddiad o fywyd Zedeciah yn gyntaf, a'r hyn a fu ychydig yn ol hynny.

Yn awr, Zedeciah oedd un mlwydd ar hugain o oedran pan gymmerodd arno 'r llywodraeth, ac ydoedd â'r un fam iddo a'i frawd Jehoiacim; ond yr oedd efe yn ddirmygwr o gyfiawnder ac o'i ddyledswydd; a'r rhai hynny ag oedd o gyd-oedran ag ef oeddynt yn annuwiol o'i amgylch; a'r holl liaws a wnaethant yr hyn bethau anghyfiawn a thrahaus a welsant yn oreu. Am y rheswm hwn y prophwyd Jeremiah a ddaeth yn fynych atto ef, gan arwyddo fod yn rhaid iddo adael heibio ei annuwioldeb a'i droseddiadau, a gofalu am yr hyn oedd gyfiawn; ac na wrandawai ar y llywodraethwyr, ym mysg pa rai yr oedd dynion annuwiol; na rhoddi cred i'w gau-brophwydi ag oedd yn eu twyllo hwynt, megis pe na byddai i frenin Babilon wneud rhyfel yn ychwaneg i'w herbyn; a meddwl y byddai i'r Aiphtiaid gyfodi i'w erbyn, a'i orchfygu ef: yn gymmaint ag nad oedd yr hyn a ddywedent hwy yn wir, ac na phrofai 'r canlyniad yr hyn ag oeddynt hwy yn ei ddisgwyl. Yn awr, am Zedeciah ei hun, tra y gwrandawai y prophwyd yn llefaru efe a'i credai ef, ac a gydsyniai â'r cwbl megis gwirionedd, ac a gydnabyddai ei fod er lleshad iddo. Ond yna ei gymdeithion a'i gŵyr-dröent ef, ac a'i gwrthgynghorent i beidio gwrando ar y prophwyd; ac a'i perswadient i wneuthur yr hyn a welent hwy yn dda. Ezeciel hefyd a ragfynegodd yn Babilon y fath drallodion oedd yn dyfod ar y bobl; yr hyn pan gafodd amlygrwydd o hono, a ddanfonodd i Jerusalem. Ond ni chredai Zedeciah eu prophwydoliaethau ar y cyfrif canlynol. Fe ddigwyddasai i'r ddau brophwyd gyttuno a'u gilydd yn yr hyn a ddywedent ymherthynas i bob peth arall, y cymmerid y ddinas, ac y byddai i Zedeciah ei hun fyned i gaethiwed. Ond Ezeciel a anghyttunodd ag ef, ac a ddywedodd na welai Zedeciah Babilon: tra y dywedai Jeremiah, y dygid ef yno gan frenin Babilon mewn rhymau.* Ac o herwydd nad oedd y naill a'r llall yn dywedyd yr un peth am yr amgylchiad hwn, efe a anghredodd yr hyn a ymddangosai fod pob un yn cyttuno ynddo; ac a'u condemniodd megis eu bod heb ddywedyd y gwir am hynny; er dyfod yr holl bethau a ragddywedwyd am danynt i ben yn ol y prophwydoliaethau, fel y cawn ddangos ar gymhwysach cyfleusdra.

Yn awr, wedi i Zedeciah gadw ei gyfammod â'r Babiloniaid am wyth mlynedd, † efe a'i torrodd, ac a drodd at yr Aiphtiaid: gan obeithio, trwy eu cynnorthwy hwynt, i orchfygu y Babiloniaid. Pan wybu brenin Babilon hyn, efe a wnaeth ryfel i'w erbyn, gan ddifrodi ei wlad, a chymmeryd ei drefydd caerog; ac a ddaeth at ddinas Jerusalem ei hun i warchae arni hi. Ond pan glybu brenin yr Aipht am yr amgylchiad ag oedd Zedeciah ei gyfaill ynddo; efe a gymmerodd fyddin liosog gyd ag ef, ac a ddaeth i Judea, megis pe buasai am ddiddymmu 'r cynllwyn neu warchäedigaeth ar Jerusalem. Ar hyn brenin Babilon a ymadawodd oddiwrth Jerusalem, ac a gyfarfu â'r Aiphtiaid; ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr â hwynt, efe a'u gorchfygodd; ac wedi eu dodi hwynt ar ffô, efe a'u herlidiodd, ac a'u gyrrodd allan o holl Syria. Yn awr, cyn gynted ag yr ymadawodd brenin Babilon oddiwrth Jerusalem, y gau-brophwydi a dwyllasant Zedeciah, gan ddywedyd na wnai brenin Babilon ryfel mwyach yn ei erbyn ef na'i bobl; na 'u symmud allan o'u gwlad eu hunain i Babilon; ac y byddai i'r rhai oedd y pryd hynny mewn caethiwed ddychwelyd; gyd â'r holl lestri hynny, o ba rai yr yspeiliasai brenin Babilon y deml. Ond Jeremiah a ddaeth i'w mysg hwynt, ac a brophwydodd yr hyn oedd yn gwrthwynebu eu rhagddywediadau hwynt, ac a brofodd yn wirionedd: eu bod yn gwneuthur yr hyn oedd ddrwg, ac yn twyllo 'r brenin: na fyddai yr Aiphtiaid o ddim lleshad iddynt; ond y byddai i frenin Babilon adnewyddu y rhyfel yn erbyn Jerusalem, a gwarchae arni drachefn; y difethai y bobl trwy newyn, ac y dygai ymaith y rhai oedd yn aros yn weddill i gaethiwed; y cymmerai gyd ag ef yr hyn oedd ganddynt yn yspail, a'r trysorau hynny ag ydoedd yn y deml.Ië, mai heblaw hyn y byddai iddo ei llosgi hi, a llwyr ddadymchwelyd y ddinas; ac y byddai iddynt ei wasanaethu ef a'i hiliogaeth ddeng mlynedd a thrugain. Ac

* Gwel Jeremiah xxxii. 4. ac Ezeciel xii. 3.

† Bl. 591.

mai yn ol hynny y byddai i'r Persiaid a'r Mediaid roddi diwedd ar eu caeth-wasanaeth, a dadymchwel y Babiloniaid; y gollyngid yr Iuddewon ymaith, ac y dychwelent i'w gwlad eu hun, yr ail-adeiladent* y deml, ac yr adferent Jerusalem.

Pan lefarodd Jeremiah hyn, y rhan fwyaf a'i credasant ef; ond y llywodraethwyr, a'r rhai annuwiol o honynt a'i dirmygasant, fel un wedi ammhwyllo yn ei synhwyrau. Yn awr, efe a benderfynasai fyned i'w wlad ei hun, yr hon a elwid Anathoth, ac ydoedd ugain o 'stadau mewn pellder o Jerusalem. Ond fel yr oedd yn myned, un o'r llywodraethwyr a'i cyfarfu ef, ac a ymaflodd ynddo, gan ei gam-gyhuddo ef, megis pe buasai yn myned yn ffoadur at y Babiloniaid. Jeremiah a ddywedodd ei fod yn ei gyhuddo ar gam: gan chwanegu ei fod yn myned yn unig i'w wlad ei hun. Ond ni fynnai 'r llall ei goelio ef, ond ymosod arno, a'i arwain ymaith, a'i gyhuddo wrth y llywodraethwyr; tan ba rai y dioddefodd amryw fath o gystuddiau, ac a gedwid i'w gospi drachefn; a dyma y cyflwr y bu efe ynddo tros ennyd o amser, pan ddioddefodd yn anghyfiawn yr hyn eisoes a grybwyllais.

Yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, ar y degfed dydd o'r degfed mis, brenin Babilon a wnaeth yr eilfed ymgyrch yn erbyn Jerusalem; gan sefyll o'i blaen ddeunaw o fisoedd, ac a warchaeodd arni gyd â'r diwydrwydd mwyaf.† Daeth arnynt hefyd ddau o'r cyfyngderau mwyaf yr un amser ag y gwarchaewyd ar Jerusalem; newyn a haint niweidiol, y rhai a wnaethant ddifrod mawr yn eu mysg. Ac er bod y prophwyd Jeremiah yn y carchar, ni orphwysodd efe, ond a gyhoeddodd yn uchel, ac a gynghorodd y lliaws i agor eu pyrth, a gollwng brenin Babilon i mewn; canys os byddai iddynt wneuthur felly, hwy a achubent eu hunain a'u teuluoedd, ond os na wnaent, hwy a ddifethid. Ac efe a ddywedodd ymhellach, os arhosai neb yn y ddinas, y llewygent yn sicr gan y newyn, neu y difethid â chleddyf y gelynion; ond os ffoent at y gelyn, hwy a ddiangent rhag marwolaeth. Etto ni ddarfu i'r llywodraethwyr yma a'i clywsant ei gredu ef, ïe pan oeddynt ynghanol y blinderau mwyaf: eithr hwy a ddaethant at y brenin, ac, yn eu digter, a wnaent yn hyspys iddo yr hyn a lefarai Jeremiah; gan ei gyhuddo, a chyfrif y prophwyd megis yn ddyn gwallgofus, ac un oedd yn ymdrechu i'w digalonni hwynt; a thrwy ddatgan barnedigaethau yr oedd yn gwanhau meddyliau y lliaws, y rhai mewn modd arall ydoedd barod i beryglu eu bywydau eu hunain tros y brenin, a thros eu gwlad: tra 'r oedd efe, mewn ffordd o fygwth, yn eu rhybuddio hwynt i ffoi at y gelyn: gan ddywedyd y cymmerid y ddinas yn sicr, ac y llwyr ddifethid hi.

Ond am y brenin ei hun, nid ydoedd yn ddigllon oll tu ag at Jeremiah; y cyfryw ydoedd ei dymmer addfwyn a chyfiawn. Etto fel nad ymddangosai yn ymryson â'r llywodraethwyr hynny yn y cyfryw amser, trwy wrthwynebu yr hyn oeddynt yn ei fwriadu, efe a adawodd iddynt wneuthur â'r prophwyd megis ag y mynnent. O herwydd paham, wedi i'r brenin roddi 'r fath ganiattâd iddynt, hwy a aethant yn uniongyrch i'r carchardŷ i'w gymmeryd ymaith, ac a'i gollyngasant wrth râff i lawr i bydew lleidiog fel y mygai, ac y byddai farw yno o hono ei hun. Felly yr oedd efe yno hyd ei wddf yn y llaid, ag oedd oll o'i amgylch, lle y parhaodd tros amser. Ond yr oedd un o weision y brenin, ag oedd mewn cyfrif gyd ag ef, Ethiopiad o genedl, yr hwn a ddywedodd i'r brenin y fath gyflwr yr oedd y prophwyd ynddo; a darfod i'w gymdeithion a'r llywyddion wneuthur yn ddrwg trwy roddi 'r prophwyd yn y pydew; a thrwy 'r moddion hynny lluniaethu cyngor yn ei erbyn, ar iddo ddioddef chwerwach marwolaeth nag oddiwrth ei rwymau yn unig. Pan glywodd y brenin hyn, efe a edifarhaodd roddi 'r prophwyd i ddwylaw 'r tywysogion, ac a orchymmynodd i'r Ethiopiad gymmeryd

* Josephus a ddywed yma, i Jeremiah brophwydo nid yn unig am ddychweliad yr Iuddewon o'r caethiwed Babilonaidd, a hynny tan y Persiaid a'r Mediaid, megis y mae yn ein copiau eraill; ond am eu hail-adeiladaeth o'r deml, ac hefyd o ddinas Jerusalem, yr hyn ni ymddengys yn ein copiau ni tan ei enw ef.

† 2 Bren. xxv. 1.

deg ar hugain o wŷr, o filwyr cartrefol y brenin, a rhaffau gyd â hwynt, a pha beth bynnag arall a ddeallasant ei fod yn angenrheidiol i achub y prophwyd, a'i godi i fynu o'r pydew yn ddioed. Felly yr Ethiopiad a gymmerodd y gwŷr a orchymmynasid iddo, ac a dynnasant y prophwyd o'r llaid, ac i'w gadawsant yn y carchardŷ.*

Ond wedi i'r brenin ddanfon i'w alw atto yn ddirgelaidd, ac ymofyn pa beth a allai ddywedyd iddo oddiwrth Dduw, yr hyn a allai berthynu i'w amgylchiadau presennol, gan ddymuned arno ei wneuthur yn hyspys o hono. Jeremiah a attebodd, Fod ganddo ryw beth i'w ddywedyd, ond na chredid mo'no; neu, os rhybuddiai hwynt, ni wrandewid ddim arno. "Canys," eb efe, "dy gymdeithion a benderfynasant fy nifetha i, fel pe buaswn yn euog o ryw ddrwg. A pha le yn awr y mae'r dynion hynny ag oedd yn ein twyllo ni, ac yn dywedyd na ddeuai brenin Babilon i ymladd yn ein herbyn ddim yn rhagor? ond yr wyf fi yn ofni yn awr ddywedyd yr holl wir, rhag i ti fy marnu i farwolaeth." Ac wedi i'r brenin sicrhau iddo trwy lŵ na roddai efe ef ei hun, ac na thraddodai ef i neb o'r pennaethiaid i'w ladd, efe a aeth yn hyderus trwy hynny, ac a roddodd iddo y cyngor hwn: Ar fod iddo roddi'r ddinas i fynu i'r Babiloniaid: ac efe a dystiodd mai Duw a barasai iddo brophwydo felly, fod yn rhaid iddo wneuthur hynny os mynnai achub ei hun, a diangc rhag y perygl yr oedd ynddo: ac yn ganlynol na syrthiai'r ddinas i'r llawr, ac na losgid y deml: ond os anufuddhäi, efe ei hun a fyddai'r achos o ddistryw y ddinas, ac o'r trueni a ddeuai ar ei thrigolion, ac ar ei holl dŷ ei hun.

Pan glywodd y brenin hyn, efe a ddywedodd, y gwnai efe yn ewyllysgar yr hyn yr oedd yn ei berswadio iddo, a'r peth yr oedd yn ei ddywedyd a fyddai er ei fantais; ond ei fod yn ofni y rhai o'i wlad ei hun ag a gwympasai at y Babiloniaid; rhag ei gyhuddo ef ganddynt wrth frenin Babilon, a chael ei gospi. Ond y prophwyd a'i cefnogodd ef, ac a ddywedodd nad oedd achos iddo ofni y fath gospedigaeth; oblegid na chai brofi unrhyw anhap, os rhoddai'r cwbl i fynu i'r Babiloniaid; efe ei hunan, ei blant, na'i wragedd; ac yna y safai y deml i fynu heb ei niweidio. Felly wedi i'r prophwyd ddywedyd hyn, y brenin a'i gollyngodd ymaith, gan erchi iddo na fradychai yr hyn a benderfynasent arno i neb o'r dinasyddion; nac adrodd dim o'r matterion hyn i'r llywodraethwyr, os gwybuent hwy i'r brenin anfon am dano, ac ymofyn ag ef am yr achos o hynny, a pha beth a ddywedasai wrtho: ond i gymmeryd arno mai i erfyn y daethai, na chedwid ef mewn rhwymau ac y'ngharchar. Ac yn wir hynny a ddywedodd efe wrthynt: canys hwy a ddaethant at y prophwyd, gan ofyn, pa gyngor a ddaethai i'w roddi i'r brenin ymherthynas iddynt hwy.

## PENNOD VIII.

*Am ddadymchweliad Jerusalem; a symmudiad Zedeciah a'i Ddeiliaid i Babilon.*

YN awr, brenin Babilon oedd wedi llwyr ymroddi i gymmeryd Jerusalem: ac efe a adeiladodd dyrau ar geulennydd uchel o ddaear; ac oddi arnynt efe a yrrodd yn ol y rhai oeddynt yn ei wrthwynebu oddi ar y muriau. Efe hefyd a wnaeth nifer mawr o'r fath geulennydd neu wrthgloddiau o amgylch yr holl ddinas, uchder pa rai oeddynt yn gydradd â'r caerau. Pa fodd bynnag, y rhai oeddynt oddi mewn a oddefasant y cynllwyn gyd âgwroldeb ac amynedd. Canys ni ddigalonnwyd hwy na chan y newyn, na'r haint niweidiol oedd yn eu mysg; ond yr oeddynt o feddwl siriol yn nygiad y rhyfel ym mlaen; er bod y cystuddiau hynny oddi mewn yn eu gofidio hefyd: eithr ni oddefasant ddychryn ynddynt eu hunain, oddi wrth ddyfais y gelyn, na'u peiriannau rhyfel; ond a ddyfeisiasant fyth ryw wahanol offerynnau i'w gwrthwynebu hwynt; nes ymddangos yr ymdrech mwyaf rhwng y Babiloniaid a gwŷr Jerusalem, pa rai oedd yn meddiannu fwyaf o ddyfais a chywreinrwydd: y blaid gyntaf yn meddwl y byddent trwy hynny yn rhy drech i'r llall, er distrywiad y ddinas: a'r ddiweddaf yn gosod eu gobaith o waredigaeth trwy barhau yn y fath ymdrechiadau, mewn

* Jeremiah xxxviii. 13.

† Jer. xxxix. 7.

gwrthwynebiad i'r lleill, ag a ddangosai ddiddefnyddgarwch offerynnau'r gelyn iddynt. A'r cynllwyn hwn a ddioddefasant tros ddeunaw mis; nes eu difetha gan y newyn, a chan y saethau ag oedd y gelynion yn ergydio attynt oddiar y tyrau.

O'r diwedd y ddinas a gymmerwyd, ar y nawfed dydd o'r pedwerydd mis, yn yr unfed flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Zedeciah. Nid oedd yn wir ond blaenoriaid lluoedd Babilon yno, i'r rhai yr ymddiriedasai Nebuchodonosor ofal y cynllwyn, canys efe ei hun a arosodd yn y ddinas Riblah. Enwau y llywyddion neu'r cadfridogion a ddarostyngodd ac a anrheithiodd Jerusalem, yw y rhai hyn: Nergal Sharezer, Samgar Nebo, Rabsaris, Sarsechim, a Rabmag. Ac wedi cymmeryd y ddinas ynghylch canol nos, a blaenoriaid y lluoedd wedi myned i mewn i'r deml; pan wybu Zedeciah hyn, cymmerodd ei wragedd, ei blant, ei gadbeniaid, a'i gyfeillion, ac a ffodd allan o'r ddinas tros y dyfrglawdd amddiffynnol, a thrwy'r diffeithwch. Ac wedi i rai o'r ffoaduriaid hysbysu hyn i'r Babiloniaid, ar doriad y dydd hwy a erlidiasant ar ol Zedeciah, ac a'i goddiweddasant heb fod yn neppell o Jericho, ac a'i hamgylchynasant ef. Ond am gyfeillion a chadbeniaid Zedeciah, y rhai a ffoasant o'r ddinas gyd ag ef, pan welsant eu gelynion yn agos hwy a'i gadawsant, gan wasgaru eu hunain, rhai un ffordd a'r lleill ffordd arall; a phob un yn ymdrechu i'w achub ei hun. Felly y gelyn a gymmerodd Zedeciah yn fyw, pan oedd wedi ei adael gan bawb ond rhyw ychydig, gyd â'i wragedd a'i blant, a hwy a'i dygasant at y brenin. Wedi ei ddyfod, Nebuchodonosor a ddechreuodd ei alw yn adyn drygionus, a thorrwr cyfammod, ac un a anghofiasai ei addunedau gynt, pan addawsai gadw'r deyrnas drosto ef. Efe hefyd a'i gwaradwyddodd am ei anniolchgarwch, wedi iddo dderbyn y deyrnas ganddo, yr hwn a'i cymmerasai oddi ar Jehoiacin, i'w dodi iddo ef, ac yntau yn defnyddio ei awdurdod yn erbyn ei gyfrannogwr. "Ond;" eb efe, "Duw sydd fawr, yr hwn sydd yn cashau yr ymddygiad hynny o'r eiddo ti, ac a'th ddygodd yn awr tanom." A phan wnaeth ddefnydd o'r geiriau hyn wrth Zedeciah, efe a orchymmynodd ladd ei feibion a'i gymdeithion ef, tra yr oedd Zedeciah, ac eraill o'r cadbeniaid yn bresennol yn edrych. Yna efe a dynnodd allan lygaid Zedeciah, ac a'i rhwymodd, ac a'i dygodd ymaith i Babilon. A'r pethau hyn a ddigwyddasant fel y rhagddywedasai Jeremiah ac Ezeciel iddo,* y dèlid ef,ac y dygid ef at frenin Babilon, i lefaru wrtho wyneb yn wyneb; i edrych arno â'i lygaid ei hun. Ac mor bell a hyn y prophwydodd Jeremiah. Efe hefyd a wnaethpwyd yn ddall, ac a ddygwyd i Babilon, ond nis gwelodd hi, yn gyttun a phrophwydoliaeth Ezeciel.

Nyni a ddywedasom gymmaint a hyn, o herwydd ei fod yn ddigon i amlygu natur Duw i'r rhai sydd yn annealladwy o hono; ei bod yn amrafael, ac yn gweithredu mewn gwahanol ffyrdd, a bod pob rhyw droion yn digwydd mewn modd rheolaidd, yn eu hiawn bryd, a'u bod yn rhagfynegi pethau sydd raid eu dyfod i ben. Y mae hefyd yn ddigonol i ddangos anwybodaeth ac anghrediniaeth dynion, trwy'r hyn ni adewir iddynt ragweled dim o bethau i ddyfod, ac ydynt trwy anwyliadwriaeth yn agored i bob trallodion; fel ag y mae yn ammhossibl iddynt ochelyd y prawf o honynt.

Yn ol y dull yma y darfu i'r brenhinoedd o hiliogaeth Dafydd ddiweddu eu bywydau, y rhai mewn rhifedi oeddynt un ar hugain, hyd y brenin diweddaf; a'r rhai ynghyd a deyrnasasant bum' cant a phedair ar ddeg o flynyddau, chwe' mis, a deg o ddyddiau. O ba rai Saul yr hwn oedd y brenin cyntaf, a feddiannodd y llywodraeth tros ugain mlynedd, er nad oedd efe o'r un llwyth a'r brenhinoedd eraill.

Yn awr brenin Babilon a ddanfonodd Nebuzaradan, penciwdawd ei fyddin i Jerusalem, i yspeilio'r deml, yr hwn oedd ganddo hefyd orchymmyn i'w llosgi, ynghŷd a'r tŷ brenhinol,

*Y sulw hwn o'r eiddo Josephus, ynghylch anghyttundeb ymddangosiadol Jeremiah xxxii. 4. xxxiv. 3. ac Ezeciel xii. 13. ond eu cydgyttundeb yn y diwedd ymherthynas i dynghedfen Zedeciah, ydoedd hollol wir, ac yn dra hynodol. Gwel pen. 7. Ac nid yw oll yn anhebygol ddarfod i wŷr y llys, a'r gau-brophwydi, wneuthur defnydd o'r anghydgordiad ymddangosiadol hwn i droi ymaith Zedeciah oddi wrth gredu un o honynt, fel yr arwydda Josephus yma.

ac i wneud y ddinas yn gydwastad â'r llawr; ac felly diwreiddio'r bobl o honi, a'u dwyn i Babilon. Yn ganlynol efe a ddaeth i Jerusalem yn yr * unfed flwyddyn ar ddeg i Zedeciah; gan yspeilio 'r deml, a dwyn ymaith lestri gwasanaeth Duw, yn aur ac arian; ac yn enwedig yr ymolch-lestr ehang a gyssegrasai Solomon; ac hefyd y colofnau pres, a'u cnapian, gyd â'r byrddau a'r canwyllbrennau aur. Ac wedi iddo gymmeryd y rhai hyn ymaith, efe a osododd y deml ar dân yn y pummed mis, y dydd cyntaf o'r mis, yn yr unfed flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Zedeciah, ac yn y ddeunawfed flwyddyn i Nebuchodonosor. Efe hefyd a losgodd dŷ 'r brenin, ac a ddadymchwelodd y ddinas.† Yn awr, y deml a losgwyd bedwar cant a deg a thrugain mlynedd, chwe' mis a deg o ddiwrnodiau, ar ol ei hadeilad cyntaf. Yr oedd y pryd hynny yn un mil a dwy a thrugain o flynyddau, chwe' mis a deng niwrnod er yr ymadawiad o'r Aipht; ac o'r diluw hyd ddistrywiad y deml, yr holl gyfwng o amser oedd un mil naw cant, dwy ar bymtheg a deugain o flynyddau, chwe' mis a deng niwrnod; ond er cenhedliad Adda yr oedd tair mil, pum cant, a thair ar ddeg o flynyddau, chwe' mis a deg o ddyddiau. Cynnifer oedd rhifedi mawr y blynyddau a berthynent i'r digwyddiadau hynod hyn. A pha weithredoedd a gyflawnwyd yn ystod y blynyddau yma, nyni a adroddasom. Ond pennaeth y milwyr Babilonaidd yn awr a ddadymchwelodd y ddinas hyd at ei sylfaeni, ac a symmudodd y bobl; ac a gymmerodd yn garcharorion yr archoffeiriad Seraiah, a Zephaniah 'r offeiriad nesaf atto ef, a'r llywodraethwyr oedd yn gwylio 'r deml, y rhai oeddynt dri o nifer; a'r ystafellydd oedd ar y gwŷr arfog; a saith o gymdeithion Zedeciah, a'i ysgrifennydd, a thrugain o flaenoriaid eraill; y rhai hyn i gyd, ynghyd a'r llestri, o ba rai y dynoethwyd y deml, a ddug efe ymaith at frenin Babilon i Riblah, dinas yn Syria. Felly y brenin a orchymmynodd i bennau yr archoffeiriad a'r llywodraethwyr gael eu torri ymaith oddi arnynt yno. Ond efe ei hun a arweiniodd yr holl gaethion, ynghyd â Zedeciah, i Babilon. Efe hefyd a arweiniodd Josedec yr archoffeiriad ymaith yn rhwym. Efe oedd fab Seraiah yr archoffeiriad, yr hwn a laddasai brenin Babilon yn Riblah, dinas o Syria, fel yr adroddasom o'r blaen.

Ac yn awr, o herwydd crybwyll o honom nifer y brenhinoedd, a phwy oeddynt, a'r modd y teyrnasasant, yr wyf yn ei dybied yn angenrheidiol i mi osod i lawr enwau y rhai a ddilynasant y naill ar ol y llall yn yr archoffeiriadaeth tan y brenhinoedd. Yr archoffeiriad cyntaf, gan hynny, yn y deml a adeiladodd Solomon, oedd Sadoc. Yn ol yr hwn Achimas ei fab a dderbyniodd y derchafiad hwnnw. Ar ol Achimas y bu Azarias. Ei fab ef oedd Joram, a mab Joram oedd Isus. Ar ei ol ef yr oedd Axioramus. Ei fab ef oedd Phideas, a mab Phideas oedd Sudeas, a mab Sudeas oedd Juelus, a mab Juelus oedd Jotham, a mab Jotham oedd Urias, a mab Urias oedd Nerias, a mab Nerias oedd Odias, a'i fab ef oedd Sallumus, a mab Sallumus oedd Elicias, a'i fab ef oedd Azarias,‡ a'i fab ef oedd Sareas, a'i fab ef oedd Josadoc, yr hwn a ddygwyd yn gaeth i Babilon. Y rhai hyn oll a dderbyniasant yr archoffeiriadaeth olynol, feibion ar ol y tadau.

Wedi dyfod y brenin i Babilon, efe a gadwodd Zedeciah yngharchar nes ei farw, ac yna efe a'i claddodd yn anrhydeddus. Efe hefyd a gyssegrodd y llestri a yspeiliasid o'r deml yn Jerusalem i'w dduwiau, ac a osododd y bobl i breswylio yng ngwlad Babilon; ond a ryddhaodd yr archoffeiriad o'i rwymau.

## PENNOD IX.

*Am osodiad Gedaliah yn Llywodraethwr i'r Iuddewon a adawyd yn Judea; ei fwrddrad gan Ishmael; ymsymmudiad y bobl i'r Aipht; a'u caethiwed canlynol.*

YN awr, Nebuzaradan, pennaeth y fyddin,

* Y ddeuddegfed, Heb. a'r Septu. †2 Bren. xxv. 9.

‡ Fe ddarfu im' nodi i lawr yma, yr archoffeiriad hwn Azarias, er ei fod yn cael ei adael allan yn holl gopiau Josephus, allan o'r Cronicl Iuddewig, Seder Olam; o ba ychydig awdurdod bynnag yr wyf yn gyffredin yn cyfrif y fath ddiweddar hanesydd Rabbinaidd; o herwydd ein bod yn gwybod, oddiwrth Josephus ei hun, fod nifer yr archoffeiriaid a berthynent i'r cyfwng hwn o amser yn ddeunaw, Hynaf. XX. 10. pan y mae ei gopiau ef yma yn unig ddau ar bymtheg. A sylwiwch fod cynnifer o'r enwau hyn yn cael eu 'spelio yn wahaniaethol i'r rhai a gyfarfyddwn yn ein Biblau ni, 1 Cron. vi. 1---15. Ezra vii. 1---5. 1 Esdr. viii. 1, 2. fel ag y darfu i mi yma, yn wrthwyneb i'm trefn, eu gosod oll i lawr yn ol yr yspeliad Groeg yn Josephus.

wedi dwyn o hono ymaith bobl yr Iuddewon i gaethiwed, efe a adawodd y tlodion, a'r rhai a giliasent at y Caldeaid, ar ol; ac a appwyntiodd yn llywodraethwr iddynt Gedaliah, mab Ahicam, gwr o dylwyth ardderchog, ac un o dymmer bwyllog a chyfiawn. Efe a orchymmynodd i'r bobl lafurio 'r tir, a thalu teyrnged i'r brenin. Efe a gymmerodd Jeremiah y prophwyd allan o'r carchar, ac a fynnai ei berswadio i fyned gyd ag ef i Babilon; o herwydd erchi iddo ef gan y brenin ei ddiwallu â pha beth bynnag yr oedd mewn eisiau o hono: ac os nad oedd yn dewis gwneuthur hynny, efe a ddymunodd arno amlygu iddo pa le yr oedd yn penderfynu aros, fel yr arwyddai yr unrhyw i'r brenin. Ond nid oedd tuedd gan y prophwyd i'w ddilyn ef, nac i drigo mewn un lle arall; ond a amlygodd ei ddymuniad i fyw ym mysg anrhaith ei wlad ei hun, a'r gweddillion o'i thrigfannau. Pan ddeallodd y penciwdawd beth ydoedd ei fwriad, efe a archodd i Gedaliah, yr hwn a adawodd ar ol, i gymmeryd y gofal mwyaf am dano, a'i ddiwallu â pha beth bynnag a fyddai mewn diffyg o hono. Felly, wedi rhoddi iddo anrhegion gwerthfawr, efe a'i gollyngodd ymaith.* Yn ganlynol Jeremiah a drigodd mewn dinas o'r wlad honno a elwid Mispah; ac a ddymunodd ar Nebuzaradan ryddhau ei ddisgybl Baruch,† mab Neriah; un o dylwyth tra enwog, a hyddysg ragorol y'nghywreinrwydd iaith ei wlad.

Wedi i Nebuzaradan wneuthur hyn, efe a frysiodd i fyned i Babilon. Ond am y rhai a ffoesai ymaith yn amser y gwarchäedigaeth ar Jerusalem, ac a wasgarasid tros y wlad; pan glywsant fod y Babiloniaid wedi myned ymaith, a gadael gweddill ar ol yn nhir Jerusalem; a'r rhai'ny yn gyfryw ag ydoedd i lafurio'r unrhyw; hwy a ddaethant ynghyd o bob parth at Gedaliah i Mispah. Yn awr, y llywodraethwyr oedd arnynt ydoedd Johanan, mab Careah, a Jezaniah, a Saraiah, ac eraill heblaw hwynt-hwy. Yn awr, yr ydoedd un o'r teulu breuhinol a elwid Ishmael, dyn annuwiol a thra dichellgar; yr hwn yn amser y gwarchäedigaeth ar Jerusalem a ffodd at Baalis, brenin yr Ammoniaid, ac a arhosodd gyd ag ef yn oed yr amser hwnnw. A Gedaliah a'u perswadiodd hwynt, yn awr wedi dyfod atto, i aros gyd ag ef, ac na ofnent y Babiloniaid; canys os llafurient y tir, ni ddioddefent ddim niweid: hyn a sicrhaodd iddynt trwy lŵ; ac a addawodd y byddai efe yn amddiffynnwr iddynt, os cyfodai gwrthwynebiadau yn eu herbyn. Efe hefyd a'u hannogodd i breswylio mewn rhyw ddinasoedd a welai pob un o honynt yn oreu; ac anfon dynion gyd â'i weision ef i ail-adeiladu eu tŷau ar yr hen sylfaeni, a chartrefu ynddynt. Ac efe a'u rhybuddiodd ym mlaen llaw ar iddynt wneuthur parottöad o ŷd, gwin, ac olew, tra fyddai'r tymmor yn parhau, erbyn y gauaf: ac wedi iddo fel hyn ymddiddan â hwynt, efe a'u gollyngodd ymaith: fel y byddai i bawb fyned a phreswylio ym mha gwrr bynnag o'r wlad a ddewisent.

Yn awr, sôn am hyn a aeth o amgylch mor bell a'r cenhedloedd oedd yn terfynu ar Judea, fod Gedaliah yn derbyn yn groesawus y rhai a ddeuant atto ef ar ol iddynt ffoi ymaith, ar yr ammodau o fod iddynt dalu teyrnged i frenin Babilon: a hwy a ddaethant gyd â pharodrwydd at Gedaliah, ac a drigasant yn y wlad. Ac wedi i Johanan, a'r llywodraethwyr oedd gyd ag ef ddal sulw ar y wlad, a chanfod hynawsedd Gedaliah, yr oeddynt yn ei garu yn fawr; ac a ddywedasant wrtho fod Baalis, brenin yr Ammoniaid, wedi anfon Ishmael i'w ladd trwy fradwriaeth, ac yn ddirgelaidd: fel y byddai iddo gael llywodraethu ar yr Israeliaid, gan ei fod o'r teulu brenhinol: a hwy a ddywedasant y gallai ei waredu ei hun rhag yr amcan bradwriaethus hwn, os rhoddai gennad iddynt hwy i ladd Ishmael, ac ni chai neb wybod am dano. Canys dywedasant eu bod yn ofni, pan laddid ef gan y llall, mai 'r canlyniad fyddai hollol ddinystr gweddillion yr Israeliaid. Ond efe a addefodd nad oedd yn credu yr hyn a ddywedent, am fwriad bradwriaethus un a gawsai 'r fath driniaeth dda oddi ar ei ddwylaw ef; ac nad oedd debygol i

* Jeremiah xl. 5. † Ymherthynas i'r ymadrodd hwn am Baruch, fab Neriah, a phurdeb ei lyfr ag sy'n gynnwysedig yn awr yn ein hapocrypha, ac mai llyfr canonaidd gwirioneddol ydyw, a chwanegiad at lyfr Jeremiah; gwel yn Saesonaeg Authent. Rec. Rhan I. t. d. 1—11.

un ag oedd mewn eisiau o bob peth, ac na fethodd o ddim ag oedd angenrheidiol, fod mor ddrwg ac anniolchgar tu ag at ei gymmwynaswr, ag iddo nid yn unig pan ymosodid arno gan elyn gydag amcan i'w ddifetha, i beidio a'i amddiffyn, ond i ymdrechu ei ladd â'i ddwylaw ei hun. Mai, pa fodd bynnág, os dylai ystyried yr hyspysrwydd yma megis gwirionedd, gwell oedd iddo ef gymmeryd ei ladd gan arall, na difetha un a ffoesai atto am noddfa, ac ymddiried am ei ddiogelwch iddo ef, a gwneud ag ef fel y dewisai.

Felly Johanan, a'r llywodraethwyr eraill ydoedd gyd ag ef, yn methu perswadio Gedaliah, a aethant ymaith; ond ym mhen y deng niwrnod ar hugain, Ishmael a ddaeth drachefn at Gedaliah i ddinas Mispah, a deg o wŷr gyd ag ef; ac wedi iddo wledda Ishmael, a'r rhai oedd gyd ag ef mewn modd haelionus, a gwneuthur anrhegion iddynt, efe a dyfodd yn anhrefnus mewn diod, wrth geisio gwneuthur yn llawen gyd â hwynt. A phan ganfu Ishmael ef yn y cyflwr hwnnw, wedi boddi ei hun â'i gwppanau i radd o annheimladrwydd, a syrthio o hono i drwmgwsg, efe a gyfododd i fynu yn ddisymmwth, gyd â'i ddeg cyfaill, ac a laddodd Gedaliah, a'r rhai oedd gyd ag ef yn y wledd: ac wedi eu lladd hwynt, efe a aeth allan yn y nos, ac a laddodd yr holl Iuddewon oedd yn y ddinas, a'r milwyr hefyd a adawsid yno gan y Babiloniaid. Ond y dydd nesaf fel ag yr oedd pedwar ugain o wŷr yn dyfod o'r wlad ag anrhegion i Gedaliah, heb neb o honynt yn gwybod yr hyn a ddigwyddasai iddo: Pan welodd Ishmael hwynt, efe a'u gwahoddodd at Gedaliah, a phan ddaethant i mewn, efe a gaeodd i fynu y cyntedd, ac a'u lladdodd hwynt, ac a fwriodd eu cyrph meirw i bydew dwfn, fel na welid hwynt. Ond o'r pedwar ugain hyn, Ishmael a arbedodd y rhai hynny a erfyniasai arno am beidio a'u lladd hwynt, nes iddynt roddi i fynu iddo y trysorau a guddiasent yn y maesydd, yn gynnwysedig o'u dodrefn, eu gwisgoedd, a'u hydau. Ond efe a gymmerodd yn gaethion y bobl oedd ym Mispah, gyd â'u gwragedd a'u plant; ym mysg pa rai yr ydoedd merched y brenin Zedeciah, y rhai a adawsai Nebuzaradan, pennaeth byddin Babilon, gyd â Gedaliah. Ac wedi darfod hyn efe a aeth trosodd at frenin yr Ammoniaid.

Ond wedi i Johanan a'r tywysogion oedd gyd ag ef, glywed am yr hyn a wnaethid ym Mispah gan Ishmael, ac am farwolaeth Gedaliah, yr oeddynt yn ddigllon o'i herwydd; a phob un o honynt a gymmerasant eu gwŷr arfog, ac a ddaethant yn ddisymmwth i ymladd ag Ishmael, ac a'i goddiweddasant wrth y pydew yn Hebron. A phan welodd y rhai a gymmerasid yn gaethion gan Ishmael, Johanan a'r tywysogion oedd gyd ag ef, yr oeddynt yn dra llawen, ac yn edrych arnynt fel eu gwaredwyr. Felly hwy a adawsant yr hwn a'u cymmerodd yn gaethion, ac a ddaethant trosodd at Johanan. Yna Ishmael gyd ag wyth o wŷr a ffodd at frenin yr Ammoniaid. Ond Johanan a gymmerodd y rhai a amddiffynasai o feddiant Ishmael; yr ystafellyddion, eu gwragedd, a'u plant, ac a ddaeth i ryw le pendant a elwid Mandea, ac yno yr arosasant y dydd hwnnw; canys hwy a benderfynasant symmud oddi yno a myned i'r Aipht; rhag i'r Babiloniaid eu lladd hwynt os arhosent yn y wlad, a hynny o ddigter ar gyfrif mwrddrad Gedaliah, yr hwn a osodasent yn llywodraethwr arni.

Tra'r oeddynt tan yr ystyriaeth yma, Johanan mab Careah, a'r tywysogion oedd gyd ag ef, a ddaethant at Jeremiah y prophwyd, gan ddymuned arno weddio ar Dduw, oblegid eu bod hwy yn hollol anwybodus pa beth a ddylent ei wneuthur, ar iddo ef ei ddatguddio iddynt; ac a dyngasant i wneuthur pa peth bynnag a ddywedai Jeremiah wrthynt. A'r prophwyd a addawodd eiriol trostynt at Dduw: a daeth o amgylch pen y deng niwrnod, i Dduw ymddangos iddo, a dywedyd am hyspysu o hono i Johanan a'r tywysogion eraill, ynghyd a'r holl bobl, y byddai efe gyd â hwynt tra'r arhosent yn y wlad honno; y cymmerai ofal am danynt, ac y cadwai hwynt rhag niweid oddiwrth y Babiloniaid, y rhai yr oeddynt yn eu hofni: ond y gadawai hwynt os elent i'r Aipht; ac o'i ddigllonedd tu ag attynt a ddanfonai yr un cospedigaethau arnynt ag a welsent eu brodyr eisoes yn eu dioddef. Felly wedi

prophwyd hyspysu i Johanan a'r bobl, i Dduw ragddywedyd y pethau hyn, er na chredid ef pan ddywedai fod Duw yn gorchymmyn iddynt aros yn y wlad honno; ond yr oeddynt hwy yn dychymmygu ei fod yn dywedyd hynny i foddhau Baruch, ei ddisgybl ei hun, ac yn dywedyd celwydd ar Dduw: a'i fod ef yn eu perswadio i aros yno, fel y difethid hwy gan y Babiloniaid. Yn ganlynol, y bobl eu hunain, ynghyd â Johanan, a anufuddhasant i gyngor Duw a roddasai iddynt trwy 'r prophwyd, ac a symmudasant i'r Aipht; gan gymmeryd Jeremiah a Baruch gyd â hwynt.

Tra 'r oeddynt yno, Duw a arwyddodd i'r prophwyd, fod brenin Babilon ynghylch gwneuthur ymgyrch yn erbyn yr Aiphtiaid; gan orchymmyn iddo ragfynegi i'r bobl, y goddiweddid yr Aipht, ac y lleddid rhai o honynt gan frenin Babilon; ac y cymmerid eraill yn gaethion i'w dwyn i Babilon; yr hyn bethau a ddaethant i ben yn ganlynol. Canys yn y bummed flwyddyn ar ol dinystr Jerusalem, yr hon oedd y drydedd flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Nebuchodonosor, efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Cœle Syria; ac wedi ei feddiannu ei hun o honi, efe a wnaeth ryfel yn erbyn yr Ammoniaid a'r Moabiaid; ac wedi dwyn o hono yr holl genhedlaethau hyn tan ei lywodraeth, efe a syrthiodd ar yr Aipht mewn trefn i'w dadymchwelyd hi. Ac efe a laddodd y brenin* oedd y pryd hynny yn teyrnasu, gan osod un arall i fynu; ac a gymmerodd yr Iuddewon hynny oedd gaethion, ac a'u harweiniodd † hwynt i Babilon: a'r fath oedd diwedd cenedl yr Hebreaid, y rhai a aethent ddwywaith tu hwnt i Euphrates. Canys pobl y deg llwyth a gaethiwasid o Samaria gan yr Assyriaid, yn nyddiau y brenin Hoshea. Yn ol y rhai, pobl y ddau lwyth, a arosai yn Jerusalem, a gymmerwyd ac a ddygwyd ymaith gan Nebuchodonosor, brenin Babilon a Chaldea. Yn awr, ymherthynas i Shalmanezer, efe a symmudodd yr Israeliaid allan o'u gwlad, ac a osododd yn eu lle y Cutheaid, y rhai gynt a berthynent i wlad ganol y Mediaid a'r Persiaid, ond wedi hynny a elwid Samariaid, trwy gymmeryd enw 'r wlad i'r hon y symmudasent. Ond brenin Babilon yr hwn a gymmerodd ymaith y ddau lwyth, ni sefydlodd ‡ un genedl arall yn eu gwlad. Trwy ba foddion holl Judea a Jerusalem, ynghyd a'r deml, a arosodd yn ddiffeithwch tros ddeng mlynedd a thrugain. Ond y cyfwng o amser aeth heibio wedi caethiwo 'r Israeliaid hyd symmudiad ymaith y ddau lwyth, a brofodd yn un cant a deg ar hugain o flynyddau, chwe' mis, a deg o ddyddiau.

## PENNOD X.

*Ymherthynas i Daniel, a'r hyn a ddigwyddodd iddo ef yn Babilon.*

NEBUCHODONOSOR, brenin Babilon, a gymmerodd atto rai ardderchoccaf o'r Iuddewon, ag ydoedd blant, ac o garennydd i Zedeciah eu brenin; y cyfryw ag oedd hynod o ran harddwch eu cyrph a thegwch eu hwynebpryd, ac a'u rhoddodd tan ddwylaw dysgawdwyr, a'r diwygiad a wnaed ganddynt hwy. Efe hefyd a wnaeth rai o honynt i fod yn eunuchiaid, yr hyn a arferodd â rhai o genhedlaethau eraill a gymmerasai ym mlodau eu hoedran, § gan ordeinio lluniaeth iddynt oddiar ei fwrdd ei hun; a pheri eu haddysgu yn neddfau 'r wlad, ac yn nysgeidiaeth...

* Herodotus a ddywed am y brenin hwn yn yr Aipht, (Pharaoh Hophra, neu Apries) ddarfod ei ladd gan yr Aiphtiaid, fel y rhagfynegodd Jeremiah am ei fwrddrad gan ei elynion, xliv. 29, 30. a hynny fel arwydd o ddinystr yr Aipht gan Nebuchodonosor. Josephus a ddywed ladd y brenin hwn gan Nebuchodonosor ei hun: yr hwn adroddiad a feddylir gan Dr. Hudson ei fod yn gwrthwynebu Herodotus. Os ydyw, y cwestiwn a fydd, Pa un ai Herodotus neu Josephus ydoedd a chanddynt gyfrif mwyaf awdurdodol am yr Aipht yr amser hwnnw. Ac nid yw'r fath gwestiwn yn hawdd i'w benderfynu, o ddiffyg ychwaneg o brif-gofion awdurdodol o'r wlad honno.

† Am wir gaethiwed yr Iuddewon oedd yn yr Aipht i Babilon, ac yn neillduol ymherthynas i Jeremiah a Baruch, yn wrthwyneb i'n copiau cyffredin, xliv. 12, 13, 27. Gwel yn Saesonaeg Authent. Rec. Rh. I. t. d 6, 7.

‡ Ni a welwn yma ddarfod gadael Judea mewn gradd o anghyfannedd-dra, ar ol caethiwo y ddau lwyth, ac na phoblogwyd hi â threfedigion tramor; ysgatfydd yn arwydd gan ragluniaeth fod yr Iuddewon i'w hail-boblogi drachefn yn ddiwrthwynebiad eu hunain. Yr wyf yn cyfrif diweddar a phresennol gyflwr anghyfannedd yr unrhyw wlad, ag sy'n aros heb ei phoblogi gan genhedlaethau eraill, i fod yn gyffelyb arwydd o'i phoblogiad gan yr unrhyw Iuddewon drachefn yn ol hyn, ar eu hir-ddisgwyliadwy adferiad.

§ Ddarfod gwneuthur Daniel yn un o'r eunuchiaid am ba rai y prophwydodd Esau, xxxix. 7. a'r tri llangc, ei gymdeithion hefyd, a ymddengys yn amlwg i mi, oddiwrth y lle hwn a'n copiau eraill o Ddaniel, i. 3, 6, 7--15, 19. Er bod yn rhaid caniattâu, fod rhai gwŷr priod ag oedd â phlant ganddynt, weithiau yn cael eu galw yn eunuchiaid mewn ystyr gyffredinol gan wŷr llys, ar gyfrif fod cynnifer o lysyddion yr amseroedd gynt yn wir eunuchiaid. Gwel Gen. xxxix. 1. Hynaf. 6. X. 8, 9, 10.

iaeth y Caldeaid: a hwy a ymarferasant eu hunain yn y doethineb hynny a ordeiniodd efe iddynt i gymhwyso eu hunain atto. Yn awr, ym mhlith y rhai hyn yr oedd pedwar o dylwyth Zedeciah, o duedd tra rhagorol; un o honynt a elwid Daniel; un arall a elwid Ananias; un arall Misael; a'r pedwerydd Azarias. A brenin Babilon a newidiodd eu henwau, ac a orchymmynodd iddynt wneuthur defnydd o enwau eraill. Daniel a alwodd efe Baltasar; Ananias, Shadrach; Misael, Meshach; ac Azarias, Abednego. Y rhai hyn oedd gan y brenin mewn cyfrifiad, ac a barhaodd i'w hoffi hwynt ar gyfrif eu tymmerau rhagorol, eu diwydrwydd mewn dysgeidiaeth, a'r cynnydd a wnaethant mewn doethineb.

Yn awr, Daniel a'i garennydd a benderfynasent arferyd lluniaeth garwach, ac ymarbed oddiwrth y bwydydd a ddeuai oddiar fwrdd y brenin, a pheidio cyfrannogi oll o gig creaduriaid byw. Felly efe a ddaeth at Ashpenaz, yr hwn oedd yr ystafellydd, i ba un y gorchymmynid eu gofal hwynt, ac a ddymunodd iddo ef gymmeryd a threulio 'r hyn a ddygid iddynt hwy oddiwrth y brenin; a rhoddi iddynt hwy bŷs, ynghyd â dât (ffrwyth y balmwydden) yn ymborth; ac un peth arall heblaw cig creaduriaid byw, ag a welai yn dda; am fod eu tuedd hwy at y cyfryw fath o luniaeth, ac yn ddi-chwant i'r llall. Dywedodd yntau ei fod yn barod i'w gwasanaethu yn yr hyn a ddymunent; ond a dybiodd y datguddid y peth gan y brenin oddiwrth gulni eu cyrph, a chyfnewidiad eu hwynebpryd; o herwydd y byddai i'w cyrph a gwedd eu hwynebau yn anocheladwy gyfnewid ar y fath ymborth; ac yn enwedig y byddent i'w gwahaniaethu oddiwrth deccach gwedd y plant eraill a arferai well ymborth; ac felly y dygent ef i berygl, ac a fyddent yn achos o'i gospedigaeth. Pa fodd bynnag, hwy a berswadiasant Arioch i roddi iddynt yr hyn a ddymunent tros ddeng niwrnod mewn ffordd o brofiad; ac os na chyfnewidiai eu gwedd gorphorol, i gael myned rhagddynt yr un modd; megis tan ddisgwyliad na waethygent trwy hynny yn ol llaw: ond os gwelai hwynt yn edrych yn waeth nag eraill, y byddai iddo gael eu newid i fod yn gyfrannog o'r lluniaeth a ordeiniasid iddynt ar y cyntaf. Yn awr, fe ymddangosodd eu bod hwy mor bell oddiwrth edrych yn waeth trwy arfer yr ymborth hwn, a'u bod wedi tewychu, a'u cyrph yn edrych yn llawnach o gnawd nag eraill; yn gymmaint ag y parwyd iddo feddwl fod y rhai a ymborthent ar yr hyn a ddeuai oddiar fwrdd y brenin, i'r golwg yn llai eu cnawd ac yn deneuach; tra'r edrychai y rhai oedd gyd â Daniel fel pe buasent yn byw mewn helaethrwydd, ac mewn pob math o ddigonedd.* Arioch gan hynny o'r pryd hwnnw a gymmerodd yn brin iddo ei hun yr hyn a ddanfonai y brenin yn feunyddiol o'i giniaw, yn ol ei arfer, i'r bechgyn; ond a barottodd iddynt y lluniaeth a rag-grybwyllwyd, yr hwn a ddewisent; tra yr oeddynt yn meddiannu eu heneidiau wrth hynny mewn mesur mwy pur, heb fod wedi eu llwytho, ac felly yn gymhwysach i ddysgeidiaeth; a'u cyrph ganddynt yn gymhwysach i lafur: canys nid oedd y cyntaf wedi gwasgu arnynt a'u trymhau ag amrywiaeth o fwydydd, ac nid oedd y lleill yn egwan ar y cyfrif hwnnw. Felly hwy yn gyflym a ddeallasant yr holl ddysg oedd ymhlith yr Hebreaid a'r Caldeaid. Megis yn enwedig y darfu hynny gan Daniel; yr hwn ac efe eisoes yn gyfarwydd ddigon mewn doethineb, ydoedd dra hyspys ynghylch dehongliad breuddwydion. A Duw a amlygodd ei hun iddo yn hynny.

Dwy flynedd ar ol dinystriad yr Aipht, y brenin Nebuchodonosor a welodd freuddwyd tra rhyfedd; y cyflawniad o ba un a ddangosodd Duw iddo yn ei gwsg. Ond pan gyfododd o'i wely efe a anghofiodd y cyflawniad. Felly efe a anfonodd am y Caldeaid, y swynyddion a'r prophwydi, ac a ddywedodd wrthynt weled o hono freuddwyd; gan hyspysu iddynt ddarfod iddo anghofio'r cyflawniad o'r hyn a welodd: ac efe a archodd iddynt ddywedyd pa beth oedd y breuddwyd, a pha beth oedd ei arwyddoccâd. Hwythau a attebasant fod hyn yn beth anmhossibl ei ddatguddio gan ddynion; ond hwy a addawsant os eglurai efe iddynt pa freuddwyd a welsai, y mynegent yr arwydd o hono. Ar hyn efe a fygythiodd eu rhoddi i farwolaeth,

* Daniel i. 15.

oddieithr iddynt fynegi ei freuddwyd, ac efe a roddes orchymmyn i hynny yn ganlynol, gan iddynt gyfaddef na allent wneuthur yr hyn a orchymmynid iddynt. Yn awr pan glybu Daniel roddi o'r brenin orchymmyn i osod yr holl wŷr doethion i farwolaeth; ac mai yn eu mysg hwynt ei fod ef a'i dri chyfaill mewn perygl, efe a aeth at Arioch yr hwn oedd flaenor gwarchawd-lu y brenin, i ddymuno cael gwybod y rheswm pabam y rhoesai y brenin orchymyn i fod i holl wŷr doethion y Caldeaid, astronomyddion a swynyddion gael eu lladd? Felly pan ddeallodd fod y brenin wedi cael breuddwyd a'i anghofio; ac mai pan orchymmynasid iddynt ei ddatguddio i'r brenin, iddynt ddywedyd na 's gallent ei wneuthur, a darfod iddynt wrth hynny gynhyrfu y brenin i ddigllonedd; efe a ddymunodd i Arioch fyned i mewn at y brenin a dymuno gohiriad i'r doethion am un noswaith, ac i oedi eu lladd tros gyhyd o amser, am ei fod ef yn gobeithio ym mhen hynny i dderbyn, trwy weddi ar Dduw, wybod o'r breuddwyd. Yn ganlynol Arioch a hyspysodd i'r brenin yr hyn a ddymunodd Daniel.

Felly y brenin a orchymmynodd oedi lladdiad y doethion, nes y gwybyddai pa beth a ddeuai o addewid Daniel. Y gwr ieuangc a aeth wedi hynny i'w dŷ ei hun, gyd â'i gyfeillion; ac a erfyniodd ar Dduw trwy'r holl nos honno i ddatguddio iddo 'r brenddwyd, a thrwy hynny waredu doethion y Caldeaid, gyd â pha rai yr oeddynt hwy eu hunain i gael eu difetha, oddi wrth lidiowgrwydd y brenin; trwy ei alluogi ef i ddatgan ei weledigaeth, ac i amlygu yr hyn a welodd y brenin y nos o'r blaen yn ei gwsg, yr hyn a anghofiasai. Yn ganlynol, Duw o dosturi at y rhai ag oedd mewn perygl, ac o ofal am ddoethineb Daniel, a wnaeth y breuddwyd yn adnabyddus iddo, ynghyd a'i ddehongliad, yn y fath fodd ag y gallai 'r brenin ddeall trwyddo ef yr ystyr o hono hefyd. Wedi i Daniel dderbyn y wybodaeth yma gan Dduw, efe a gododd yn orfoleddus, ac a'i mynegodd i'w frodyr; ac a wnaeth iddynt obeithio y cedwid yn awr eu bywydau, o'r hyn yr oeddynt o'r blaen yn ddiobaith, a'u meddyliau ganddynt yn llawn o ddim ond marwolaeth. Felly wedi iddo gyd â hwynt ddychwelyd diolch i Dduw, yr hwn a dosturiasai wrth eu hieuengctyd, efe a aeth at Arioch, ac a ddymunodd arno ei ddwyn at y brenin, o herwydd y datguddiai iddo y breuddwyd a welsai y nos o'r blaen.

Pan ddaeth Daniel at y brenin, efe a esgusododd ei hun gyntaf trwy ddywedyd nad oedd yn cymmeryd arno fod yn ddoethach na 'r Caldeaid eraill, a'r swynyddion, pan ar eu hollol anallu hwynt i ddatguddio ei freuddwyd, yr oedd efe yn cymmeryd arno ei hyspysu. Canys nid oedd hyn o'i ddyfais ei hun, neu ar gyfrif ei fod yn meddu dealltwriaeth wedi ei hymgeleddu ganddo yn well nag eraill: "Ond" eb efe; "Duw a dosturiodd wrthym a nyni mewn perygl am ein bywydau: ac wedi i mi weddio tros fy mywyd fy hun, a'm cyfeillion o'm cydgenedl, efe a amlygodd i mi y breuddwyd, ynghyd â'i ddeongliad. Canys nid oeddwn yn llai fy ngofal tros dy anrhydedd di, nag oblegid y tristwch yr oeddym ein hunain ynddo; trwy ein bod wedi ein gosod gennyt ti i farw, pan ddarfu it' mor anghyfiawn orchymmyn lladd dynion ag oeddynt yn dda a rhagorol ynddynt eu hunain; wedi gofyn ganddynt yr hyn oedd yn hollol uwchlaw cyrhaeddiad doethineb dynol; a pheri iddynt wneuthur yr hyn yn unig ydoedd waith Duw. O herwydd paham, fel yr oeddit ti yn dy gwsg yn rhagofalu ymherthynas i'r rhai a lywodraethai 'r byd rhagllaw, ewyllysiodd Duw ddangos i ti y rhai oll a deyrnasai ar dy ol; ac i'r diben hwnnw a barodd i ti weled y breuddwyd canlynol:—Ymddengys weled o honot ddelw fawr yn sefyll ger dy fron di; pen yr hon ydoedd o aur, yr ysgwyddau a'r breichiau o arian, ei bol a'i morddwydydd o bres, ond ei choesau a'i thraed o haiarn. Yna y gwelaist garreg wedi ei thorri o fynydd, yr hon a darawodd y ddelw, ac a'i bwriodd i lawr fel y torrwyd hi yn ddrylliau, ac na adawyd dim o honi i aros yn gyfan; ond yr aur, yr arian, yr haiarn, a'r pres a wnaed yn fanach na blawd; ac ar chwythiad gwynt ystormus a ddygwyd ymaith, ac a wasgarwyd o amgylch: ond y garreg a gynyddodd i'r fath raddau, fel yr ymddangosodd

yn lleuwi yr holl ddaear. Dyma y breuddwyd yr hwn a welaist; a'i ddeongliad sydd fel y canlyn. Y pen o aur sydd yn dy arwyddo di, a brenhinoedd Babilon a fu o'th flaen di. Ond y dwylaw a'r breichiau sydd yn arwyddo diddymiad dy lywodraeth gan ddau frenin. Ond brenin arall yr hwn a ddaw o'r gorllewin, wedi ei arfogi â phres, a ddifetha 'r llywodraeth honno. A llywodraeth arall ag a fydd debyg i haiarn, a wna ddiwedd ar yr un flaenorol, ac a arglwyddiaetha tros yr holl ddaear, o herwydd natur yr haiarn, yr hwn sydd gryfach na 'r un hynny o aur, arian, neu bres." Daniel hefyd a fynegodd ystyr y * garreg i'r brenin, ond nid wyf yn ei olygu yn gyfleus i mi ei adrodd; gan nad wyf wedi cymmeryd arnaf ddescrifio dim ond pethau a aeth heibio, neu bethau presennol, ond nid pethau i ddyfod. Etto os bydd neb mor awyddus i wybod gwirionedd, ag i beidio gadaw heibio y fath byngciau o gywreinrwydd, ac na all attal ei dueddiad i ddeall ansicrwydd pethau i ddyfod, a pha un a ddigwyddant a'i peidio, darllenned yn ofalus lyfr Daniel, yr hwn a gaiff ym mysg yr ysgrifeniadau cyssegredig.

Wedi i Nebuchodonosor wrando hyn, ac adgoffa ei freuddwyd, yr ydoedd yn rhyfeddu wrth ddawn Daniel; ac efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a gyfarchodd Daniel â'r cyffelyb agwedd ag y bydd dynion yn addoli Duw; ac a roddes orchymmyn allan i aberthu iddo megis duw. Efe hefyd a osododd enw ei dduw ei hun Baltasar arno ef; ac a'i gwnaeth ef a'i garennydd yn llywodraethwyr ar ei holl deyrnas. Ei garennydd a'i gyfeillion hyn, pa fodd bynnag, a ddigwyddodd iddynt syrthio i berygl trwy gynfigen a malais eu gelynion: a hwy a anfoddhasant y brenin ar yr achos canlynol. Y brenin a wnaeth ddelw o aur, uchder pa un ydoedd drugain cufydd, ac mewn lled yn chwe chufydd, ac a'i gosododd i fynu yngwastadedd mawr Babilon. A phan oedd yn myned i gyssegru 'r ddelw, efe a wahoddodd yr holl bennaethiaid oedd tan ei lywodraeth; ac a orchymmynodd, pan glywent sain yr udgorn, am iddynt syrthio i lawr ac addoli 'r ddelw; ac efe a fygythiodd y rhai na wnaent felly, y bwrid hwynt i ffwrn o dân poeth. Wedi i eraill, gan hynny, pan glywsant sain yr udgorn, ymgrymmu i'r ddelw aur, carennydd Daniel ni wnaethant hynny, o herwydd na throseddent gyfraith eu gwlad. Felly y gwŷr hyn a gyhuddwyd, ac a fwriwyd yn ddioed i'r tân; ond a achubwyd gan ddwyfol ragluniaeth, a thrwy foddion tra rhyfedd a ddiangasant rhag angau: canys ni chyffyrddodd y tân â hwynt. Fy meddwl yw, na ennynodd arnynt, fel pe buasai yn ymresymmu ag ef ei hun ddarfod eu bwrw iddo heb ddim bai o'r eiddynt hwy; a'i fod gan hynny yn rhy wan i ddifa y gwŷr ieuangc pan oeddynt ynddo. Hyn a wnaethpwyd trwy allu Duw, yr hwn a wnaeth i'w cyrph ragori mor belled ar y tân fel na allai eu niweidio. Hyn ydoedd y peth a wnaeth i'r brenin eu cyfrif yn ddynion cyfiawn, ac yn ddynion yn cael eu caru gan Dduw; ar ba achos hwy a barhasant mewn mawr gymmeriad gyd ag ef.

Ychydig ar ol hyn, y brenin a gafodd yn ei gwsg weledigaeth arall, yn arwyddo ei syrthiad o'i lywodraeth, a'i fynediad i ymborthi ym mysg anifeiliaid y maes: ac wedi iddo fyw yn y dull yma yn y diffeithwch tros saith mlynedd, † yr-

* Dyma ymadrodd tra hynod yn Josephus, mewn perthynas i'r garreg a dorrwyd allan o'r mynydd, ac a ddrylliodd y ddelw, yr hyn a arwyddodd ei bod yn brophwydoliaeth am bethau i ddyfod; ac o bossibl heb fod yn ddi berygl iddo ef ei hegluro, megis ei bod yn perthynu i ddinystr yr ymerodraeth Rufeinaidd gan Iesu Grist, gwir Fessiah yr Iuddewon. Cymmerwch yma hefyd eiriau Havercamp: "Y lle a gyfeirir atto," eb efe, "yn Josephus, yw Pen x. Ac nid yw hyn i ryfeddu wrtho, na fynnai efe gyffwrdd â phethau i ddyfod. Canys nid oedd yn ewyllysio cyffroi y Rhufeiniaid, trwy lefaru am ddinystr eu dinas, yr hon a alwent hwy yn ddinas dragywyddol." Nod V. ar X. 11.

† Gan fod Josephus yma wedi egluro y saith amser prophwydoliaethol ag oedd i fyned dros Nebuchodonosor, Dan iv. 16. sef mai saith mlynedd oeddynt, yr ydym yn dysgu trwy hynny y modd yr oedd efe, fel y mae'n debygol, yn deall y cyffelyb ymadroddion eraill, am amser, ac amser a hanner, VII. 25. a'r XII. 8. am gynnifer o flynyddau prophwydoliaethol hefyd. Er ei fod ef yn peri i ni wybod trwy ei grybwylliad wrth ddehongli y deng wythnos a thrugain, megis ei fod â pherthynas i'r bedwaredd frenhiniaeth, a dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, yn nyddiau Josephus, Pen 2. ac ni thybiodd efe am y blynyddau hyn mai noeth flynyddau oeddynt, ond yn hytrach dyddiau am flynyddoedd; wrth ba gyfrifiad, ac wrth ba un yn unig y gallai'r deng wythnos a thrugain, neu bedwar cant a phedwar ugain a deg o flynyddau, gyrhaeddyd hyd amser Josephus. Ond am y gwirionedd o'r saith mlynedd hynny o alltudiad Nebuchodonosor oddi wrth ddynion, a'i drigfa cyhyd ymhlith yr anifeiliaid, y mae'r ychydig weddillion eraill o hanes sydd gennym am y Nebuchodonosor hwn, yn lluddias ein disgwyliad am un cyflawnach hanesiad o hono. Cyn belled a hyn y gwyddom am Ptolemy, cyd-dystiolaethwr â Josephus, iddo deyrnasu trwy'r cwbl dair blynedd a deugain; hynny yw wyth mlynedd yn ol y cyfarfyddwn â dim o'i weithredoedd. Ond o'r rhai olaf yr oedd ei warchaedigaeth ar Tyre, XI. 11. lle, er hynny, y mae gan y Lladin hynafol dair blynedd a deng mis. Etto, yr oedd ei weithrediadau o'r blaen mor hynod, wedi eu nodi i lawr gan awdwyr cyssegredig a chenhedlig, ag y gall y fath ddiffyg o wyth mlynedd o leiaf, ar ddiwedd ei deyrnasiad, gyttuno yn dda â'r hyn a olygid

adferid ef i'w lywodraeth drachefn. Wedi iddo weled y breuddwyd hwn, efe a alwodd y doethion ynghyd, ac a ymofynnodd â hwynt am dano, gan ddymuno iddynt fynegi yr hyn yr oedd yn ei arwyddo. Ond pan na's gallai neb o honynt gael allan ystyr y breuddwyd, na'i ddatguddio i'r brenin; Daniel ydoedd yr unig un a'i datguddiodd. A'r hyn a ragddywedodd efe a ddaeth o amgylch. Canys wedi aros yn yr anialwch tros yr amser rhag-grybwylledig, pan na feiddiodd neb oresgyn ei deyrnas yn oed y saith mlynedd hynny; efe a weddiodd ar Dduw am gael ei adferyd i'w deyrn-gadair; ac efe a ddychwelwyd iddi. Ond na feied neb arnaf am nodi i lawr bob peth o'r natur yma, fel yr wyf yn eu cael yn ein llyfrau hynafiaethol. Canys am y matter hwnnw, mi a sicrheais i'r cyfryw mewn unrhyw bwngc, na fwriedais wneuthur yn rhagor na chyfieithu y llyfrau Hebraeg i'r iaith Roeg, ac addaw egluro y gweithredoedd hynny, heb chwanegu dim attynt o'r eiddo fy hun, neu dynnu un peth oddiwrthynt.

## PENNOD XI.

*Am Nebuchodonosor, a'i Ddilynwyr yn y Llywodraeth Fabilonaidd; Diddymiad eu Brenhiniaeth gan y Persiaid; am achosion Daniel; a'r Prophwydoliaethau a draddododd efe ym Media.*

YN awr, wedi i'r Brenin Nebuchodonosor deyrnasu dair blynedd a deugain,* efe a ddiweddodd ei einioes. Yr ydoedd efe yn ddyn gweithgar, ac yn fwy llwyddiannus na'r brenhinoedd a fuasai o'i flaen. Berosus sydd yn gwneuthur crybwylliad o'i weithredoedd yn ei drydydd llyfr o'i hanes Caldeaidd, pan ddywed, "Pan ddarfu i'w dad Nebuchodonosor [Nabopollassar] glywed fod y llywodraethwr a osodasai efe ar yr Aipht, a'r lleoedd o amgylch Cœle Syria, a Phœnicia, wedi cilio oddiwrtho ef, pan ydoedd yn analluog ei hun yn hwy i fyned tan galedfyd rhyfel; efe a orchymmynodd i ofal ei fab Nebuchodonosor, yr hwn oedd etto yn ieuangc, ryw rannau o'i fyddin, ac a'u hanfonodd yn eu herbyn. Felly wedi i Nebuchodonosor fyned i frwydr ac ymladd â'r gelyn, efe a'i gorchfygodd ef, ac a ddarostyngodd y wlad tan ei awdurdod, ac a'i gwnaeth yn gangen o'i deyrnas ei hun. Ond ynghylch yr amser hwnnw digwyddodd i'w dad syrthio yn drymglaf, a diweddu ei fywyd yn ninas Babilon, pan deyrnasasai un mlynedd ar hugain.† A phan wnaed ef yn adnabyddus fod ei dad wedi marw, efe a sicrhaodd achosion yr Aipht a gwledydd eraill, megis hefyd yr oedd yn perthynu i'r caeth-Iuddewon, Phœniciaid, Syriaid, a'r rhai hynny o'r genedl Aiphtaidd; ac wedi ymddiried eu trosglwyddiad i Babilon i rai o'i neillduol gyfeillion, ynghyd â chorph ei fyddin, a'r gweddillion o'u harfogaeth a'u lluniaeth; efe a aeth ei hunan gyd â phrysurdeb, ac ychydig eraill yn gwmpeini iddo trwy'r diffeithwch, ac a aeth i Babilon. Felly efe a gymmerodd yn llaw drefnu'r achosion cyffredin, a llywodraethu 'r deyrnas, yr hon a gadwasid iddo ef gan un o'r rhai pennaf y Caldeaid; ac efe a dderbyniodd gyflawn awdurdod ei dad; ac efe a appwyntiodd, pan ddeuai rhai o'r caethion yno, ar iddynt gael eu sefydlu yn drefedigion yn amrywiol barthau Babilonia. Yna efe a addurnodd deml Belus, a'r gweddill o demlau eraill, mewn modd mawrwych, â'r yspail a gymmerasai yn y rhyfel. Efe hefyd a chwanegodd ddinas arall at yr un oedd yno o'r blaen, ac a'i hail-adeiladodd; fel na byddai i'r rhai a ymosodai ar y ddinas rhagllaw droi rhediad yr afon, a thrwy hynny oresgyn y ddinas yn esmwythach. Efe gan hynny a adeiladodd dri o furiau o amgylch y ddinas dufewnol, a thair eraill o gaerau o amgylch yr un allanol; a hyn

gan Ddaniel; mai yn ol y saith mlynedd o fywyd anifeilaidd, y gallai ddychwelyd i'w reswm, ac i ymarferiad o'i awdurdod frenhinol, o leiaf, tros un flwyddyn cyn ei farwolaeth.

* Y tair blynedd a deugain yma o barhad teyrnasiad Nebuchodonosor, ydynt, fel y darfum o'r blaen sylwi, yr un rhifedi a'r un hynny yngwaith Ptolemy. Moses Chorenensis hefyd sy'n sierhau am y caethiwed hwn o eiddo'r Iuddewon tan Nebuchodonosor; ac yn chwanegu, yr hyn sydd dra hynod, i un o'r Iuddewon hynny a ddygwyd ganddo i gaethiwed, ddiangc ymaith i Armenia; ac a fu'n offerynnol i dderchafu teulu mawr y Bagratidæ yno. Gwel tu dal. 1, 58, 91, 98, 100, 109, 123, 124, 186, 180.

† Y ddwy flynedd ar hugain yma a gyfrifir i Nabopollassar, tad Nebuchodonosor fawr, sydd yr un ag a gyfrifir iddo gan Ptolemy. A nodwch yma yr hyn a ddywed Cyssylltad Dr. Prideaux, wrth y flwyddyn 612, fod yr enw Nebuchodonosor o orfod yn cael ei roddi ar eraill o frenhinoedd Babilon, heblaw Nebuchodonosor fawr ei hunan, yn gamsyniad disail rhai amseryddion diweddar yn unig, ac yn amddifad o bob priodol hynafiaethol awdurdod.

a wnaeth â llosgedig bridd-feini.

Ac ar ol iddo furio 'r ddinas, ac addurno ei phyrth, efe a adeiladodd frenhin-dŷ arall o flaen tŷ brenhinol ei dad; fel ag yr oedd y naill yn ymgyssylltu â'r llall: descrifio uchder ac anghredadwy wychder pa un a fyddai o bossibl yn rhy anhawdd i mi ei gyflawni. Etto er ehanged ac er uched oeddynt, hwy a gwblhawyd mewn pymtheg* o ddiwrnodiau. Efe a wnaeth rodfeydd uchel o feini, ag oeddynt debygol i fryniau; ac wedi eu hadeiladu yn y fath fodd ag y gellid plannu ynddynt amryw fath o brennau. Efe hefyd a adeiladodd le yr hwn a elwid Paradwys lethrawl; o herwydd fod chwennychiad ei wraig i gael pethau yn debyg i'w gwlad ei hun; gan ei magu hi ym mharthau Media." Megasthenes hefyd yn ei bedwerydd llyfr o hanes India, sy'n gwneuthur crybwylliad o'r pethau hyn; a'thrwy hynny yn ymdrechu i ddangos fod y brenin hwn Nebuchodonosor, yn rhagori ar Hercules yn ei lwyddiant, ac ym mawredd ei weithredoedd: canys efe a ddywed, "iddo ddarostwng rhan fawr o Lybia ac Iberia." Diocles hefyd yn ei ail lyfr o hanes Persia sy'n crybwyll am y brenin hwn: fel ag y mae Philostratus yn ei hanes am India a Phœnicia yn dywedyd, ddarfod i'r "brenin hwn warchae ar Tyre dair blynedd ar ddeg; tra ar yr un amser yr oedd Ethbaal yn teyrnasu yn Tyre." Dyma 'r holl hanesion a gyfarfum i â hwynt ymherthynas i'r brenin hwn.

Ar ol marwolaeth Nebuchodonosor, Evil-Merodach ei fab a lywodraethodd ar y deyrnas; yr hwn yn ddioed a osododd Jeconïah mewn rhydd-deb; ac a'i parchodd ef i fod ym mysg ei gyfeillion pennaf. Efe hefyd a wnaeth iddo amryw anrhegion, ac a'i hanrhydeddodd uwchlaw brenhinoedd eraill oedd yn Babilon. Canys ei dad ni chadwasai ei gyfammod â Jeconïah, wedi iddo yn ewyllysgar roddi ei hun i fynu i'w awdurdod, gyd â'i wragedd a'i blant, a'i holl garennydd, er mwyn cael llonyddwch i'w wlad, fel na chymmerid hi trwy gyullwyn, a'i llwyr anrheithio, fel y crybwyllasom o'r blaen. Wedi marw Evil-Merodach, yn ol teyrnasiad o† ddeunaw mlynedd, Nigllissar ei fab a feddiannodd y llywodraeth, ac a'i cadwodd tros ‡ ddeugain mlynedd, ac yna a ddiweddodd ei fywyd. Ac ar ei ol ef, llywodraeth y deyrnas a ddaeth i feddiant ei fab Labosordacus, yr hwn yn unig a barhaodd ynddi, trwy 'r cwbl, naw o fisoedd; ac wedi ei farw yntau Baltasar a'i cafodd; § yr hwn gan y Babiloniaid a elwid Naboandalus. Yn ei erbyn ef y darfu i Cyrus brenin Persia, a Darus brenin Media, wneuthur rhyfel. A phan warchaewyd arno ef yn Babilon, digwyddodd iddo yno weledigaeth anferth a thra rhyfedd. Efe a eisteddodd i lawr i swppera mewn ystafell ehang, ac yr oedd yno lawer o lestri arian, o'r fath ag a wnaed i wleddoedd brenhinol; ac yr oedd gyd ag ef ei ordderch-wragedd a'i gyfeillion. Ar yr hyn y gorchymmynodd fod i'r llestri gwasanaeth Duw hynny a ddygasai Nebuchodonosor o Jerusalem, y rhai ni wnaethid defnydd o honynt, ond a'u gosodasai yn ei deml ei hun, gael eu dwyn allan o'r deml honno. Efe hefyd a dyfodd mor hŷ a gwatworllyd, a myned ym mlaen i'w cymmysgu ymhlith ei gwppanau ei hun, gan yfed o honynt

* Y pymtheg hyn o ddyddiau at orphen y fath adeiladaeth dirfawr yn Babilon, ynghopi Josephus allan o Berosus, a ymddengys yn rhy afresymmol i feddwl ei fod o'r iawn nifer, oni b'ai yr un dystiolaeth sydd gennym hefyd mewn bod yn y llyfr cyntaf yn erbyn Apion, yn cynnwys yr un rhifedi. Oddi yno yn wir fe ymddengys, fod gan gopi Josephus o Berosus y nifer bychan hwn; ond mai'r iawn nifer ydyw yr wyf fyth yn ei ammeu. Y mae Josephus yn sicrhau i ni, fod muriau dinas Jerusalem, yr hon oedd yn llawer llai o faintioli, ddwy flynedd a phedwar mis yn cael eu hadeiladu gan Nehemiah, yr hwn etto oedd yn prysuro yr hyn a allai i fyned a'r gwaith ym mlaen. XI. 5. Meddyliwn y byddai un cant a phymtheg o ddyddiau, neu gant ac ugain niwrnod, yn llawer mwy cydgyfattebol a'r fath orchwyl.

† Dwy Flynedd. ‡ Pedair Blynedd.

§ Y mae 'n hynod yma fod Josephus, heb wybod am Canon Ptolemy, yn galw yr un brenin, yr hwn y mae efe ei hun yma, Baruch i. 11. a Dan. v. 1, 2, 9, 12, 22, 29, 30. yn ei alw Baltasar, neu Belshazzar, oddiwrth dduw y Babiloniaid Bel, yn Neboandelus hefyd; ac mewn lle arall oddiwrth yr un adroddiad allan o Berosus, Nabonnedon; oddiwrth y duw Babilonaidd Nabo, neu Nebo. Yr enw diweddaf hwn nid yw ymhell oddiwrth y prif-swniad Babilonaidd yn Canon Ptolemy, Nabonadius. Canys amseriad y brenin hwn yn y Canon uchod, megis y diweddaf o'r brenhinoedd Syriaid neu Fabilonaidd, a rhifedi blynyddau ei deyrnasiad yn ddwy ar bymtheg, yr un nifer yn y naill a'r llall, sy'n amlygu mai yr un brenin a feddylir wrthynt oll. Mae hefyd yn werth sylwi, y gwyddai Josephus mai Darius, cyfaill Cyrus, ydoedd fab Astyages, ac a elwid wrth enw arall ym mhlith y Groegiaid, er nad yw yn ymddangos y gwyddai pwy enw ydoedd, megis pe buaasi heb weled yr hanesiad goreu o'r cylch-amser hwnnw, pa un ydoedd yr eiddo Xenophon. Ond yna, yr hyn ar fyr a ddywed copiau Josephus, mai heb fod yn hir o amser ar ol ysgrifeniad y darn llaw ar y mur, y lladdwyd Baltasar, ni chyttuna yn dda â'r hyn a ddywed ein copiau o Ddaniel, pa rai a ddangosant mai 'r nos honno ydoedd; Dan. v. 30. Ond yna rhaid i ni sylwi, fod Theodoret yn gymmwys yn cyfeirio at Josephus, er cadarnhad i'n copiau o Ddaniel; ac yn enwedig er sicrhau ddarfod ei ladd yn yr unrhyw noswaith. Tystiolaeth yr hwn a osodir yma i lawr yn helaeth gan Dr. Hudson.

a chablu yn erbyn Duw. Yn y cyfamser efe a welodd law llaw yn ysgrifennu sillafau* ar y mur, neu galchiad y pared. Wrth yr olwg yma efe a gythryblwyd, ac a alwodd wŷr doethion y Caldeaid ynghyd, a phob rhyw o ddynion ag oedd ym mysg y barbariaid hyn, yn allnog i ddeongli arwyddion a breuddwydion, modd y gallent egluro 'r ysgrifen iddo ef. Ond pan fynegodd y doethion na fedrent ddatguddio dim o honi, na 'u bod yn ei deall, y brenin ydoedd tan fawr flinder meddwl a thrallod, wrth y ddamwain synllyd hon. Felly efe a barodd gyhoeddi trwy 'r holl wlad, a gwneud addewid, Mai i'r hwn a ddarllennai 'r ysgrifen ac a'i heglurai, y rhoddid cadwyn aur am ei wddf, a chaniattàd i wisgo gwisg borphor, megis y gwnai brenhinoedd Caldea; ac y rhoddai iddo y drydydd ran o'i frenhiniaeth. Wedi gwneuthur y cyhoeddiad hwn, y gwŷr doethion a redasant ynghyd gyd â mwy o brysurdeb, ac oeddynt yn dra awyddus i gael allan ystyr yr ysgrifen; ond yr oeddynt fyth yn pettruso yn eu meddyliau ymherthynas iddi megis o'r blaen. Yn awr pan†ganfu nain y brenin ef â'i wedd wedi syrthio, wrth yr olwg yma, hi a ddechreuodd ei gyssuro ef, a dywedyd, fod rhyw gaethwas a ddaethai o Judea, yr hwn oedd Iuddew o genedl, ond a ddygiasid oddi yno gan Nebuchodonosor, pan ddinystriwyd Jerusalem, enw 'r hwn ydoedd Daniel; gwr doeth a chelfyddus iawn i chwilio allan bethau ag oedd yn ammhossibl i eraill eu datguddio, a'r hyn a wybyddid gan Dduw yn unig, yr hwn a ddug i'r goleuni, ac a attebodd y fath gwestiynau i Nebuchodonosor, na allasai neb arall ei atteb pan ymgynghorwyd â hwynt. Hi ddymunodd gan hynny iddo anfon am dano, i ymofyn ag ef ymherthynas i'r ysgrifen; ac i gondemnio anghywreinrwydd y rhai na fedrent wybod eu hystyr; a hynny er i Dduw arwyddo trwyddynt bethau trist eu naturiaeth.

Baltasar pan glywodd hyn a yrrodd am Daniel; ac wedi adrodd yr hyn a glywodd am dano ef a'i ddoethineb, a'r modd yr oedd y dwyfol yspryd gyd ag ef, ac mai efe yn unig oedd yn gwbl alluog i gael allan y peth na feddyliai eraill fyth am dano; efe a ddymunodd amlygu o hono iddo feddwl yr ysgrifen hon. Ac os gwnai felly y rhoddai gennad iddo i wisgo porphor, a dodi cadwyn o aur o amgylch ei wddf, a'i wneud yn gyfrannog o'r drydedd ran o'i lywodraeth, fel gwobr anrhydeddus am ei ddoethineb; a thrwy hynny y denai yn barchus yngolwg y rhai a'i canfyddai, ac a ofynnent ar ba achos y daethai i'r fath anrhydedd. Ond Daniel a ddymunodd arno "gadw ei roddion iddo ef ei hun; am nad yw effaith doethineb, a dwyfol ddatguddiad, yn gwneuthur derbyniad o roddion; ond yn cyfrannu ei lleshad yn rhydd i ddeisyfwyr: ond yr eglurai efe er hynny 'r ysgrifen iddo. Dywedodd ei bod yn arwyddo ei farwolaeth yn ebrwydd, a hynny am na ddysgasai anrhydeddu Duw, a pheidio ymgyrhaeddyd at bethau uwchlaw natur ddynol, mewn ffordd o gospedigaeth ag yr aethai ei hendaid tano, am yr amharch a gynnygiasai efe i Dduw; ac o herwydd iddo yn gwbl anghofio y modd y symmudasid Nebucho-

---

* Dan. v. 5.

† Y nain hon, neu fam Baltasar, brenhines waddolog Babilon, (canys hi a wahaniaethir oddiwrth ei frenhines, Dan. v. 10, 23.) a ymddengys fod yr hynodfawr Nitocris, a amddiffynnodd Babilon yn erbyn y Mediaid a'r Persiaid; ac mewn pob tebygolrwydd a'i llywodraethodd tan Baltasar, yr hwn a ymddengys ei fod yn dywysog, gwan a moethus. Pa un a ydoedd Baltasar yn fab neu ŵyr i Nebuchodonosor fawr, a ddeallir yn oreu oddiwrth yr ymadrodd canlynol allan o sylwiadau a wnaethym, amser a aeth heibio, pan ddarllenais yn ofalus trosodd gyhoeddiad odiaethol Mr. Hutchinson am Xenophon, fel y canlyn: "Xenophon, yr hwn ni wnaeth ei ymgyrch Persiaidd, hyd y flwyddyn un cant a naw ar hugain ar ol marwolaeth Cyrus; ac heb ymddangos ei fod erioed yn Babilon, nac fyth yn enwi un o frenhinoedd Babilon; (megis, ysgatfydd, heb wybod eu henwau; sydd yn unig, a phob amser yn galw y naill a'r llall o honynt, Y brenin Assyriaidd, yn gyttun â Ptolemy;) a gymmerodd fod brenin diweddaf Babilon yn fab ei ragflaenor, a'r un ag a niweidiodd Gobryas a Gadates, t. d. 307, 529. Berosus hefyd, yr hwn oedd yn byw lawer diweddarach, a gymmerodd Niricassolassar am wr y chwaer, ac sy'n dodi i lawr Laborosoarchod, yr hwn nid yw yn y Canon. Ysgatfydd mai goreu yw i ni ganlyn yr Ysgrythyr, a'r Canon, megis o fwy hynafiaeth; ac yn wir yn dystiolaethau cyd-oesol; a dywedyd mai Ilvarodamus, neu Evilmerodach ydoedd y mab, a Niricassolassar yn ŵyr Nebuchodonosor; ac mai Baltasar neu Nahonadius ydoedd ewythr Niricassolassar, a mab Nebuchodonosor o wraig arall, Nitocris. Gwel Baruch i. 11. 2 Cron. xxxvi. 20. Jer. xxvii. 7. Dan. v. 18. 22. Ac ysgatfydd nad ydoedd Laborosoarchod yn ychwaneg na phen-swyddog y deyrnas dan Baltasar yn ei ddechreuad, fel yr ymddengys fod y fam-frenhines Nitocris yn llywio tano ef yn ol hynny; am mai tywysog gwan ac annoeth oedd Baltasar ei hun, fel y nodasom eisoes, ac fel y mae ei hanes yn dangos. D. S. Mae 'n amlwg er y gwyddai Xenophon hanes Cyrus, nad ydoedd er hynny yn deall ei amseryddiaeth, neu pa gyhyd y parhaodd ei ryfeloedd ef. Efe a dybiodd fod y rhyfeloedd hynny cyn cymmeryd Babilon, trosodd mewn ychydig iawn o flynyddau, yn wrthwyneb i'r dystiolaeth gadarnaf o bob man arall: er, mewn gwrthwynebiad i hyn, y gwyddai fod Cyrus yn ieuangach na Cyaxares, ac yn wr tra oedrannus cyn iddo farw; yr hyn sy 'n cyttuno â thystiolaethau eraill o hynafiaeth."

donosor i ymborthi ym mysg anifeiliaid gwylltion, am ei annuwioldeb; ac na adferwyd ef i'w fywyd blaenorol ym mysg dynion, ac i'w frenhiniaeth, ond trwy estyniad o drugaredd Duw iddo, yn ol llawer o erfyniadau a gweddiau. Yr hwn yn ol hynny a foliannodd Dduw holl ddyddiau ei fywyd, megis un o hollalluog nerth, ac un sy 'n gofalu tros holl ddynolryw. Efe hefyd a ddygodd ar ddeall iddo ei fod wedi cablu yn erbyn Duw yn fawr, a gwneuthur arferiad o lestri ei wasanaeth ef ym mysg ei ordderchadon: ac am hynny fod Duw yn ddig wrtho; ac a ddangosodd trwy 'r ysgrifen hon pa ddiwedd truenus o'i fywyd a ddeuai iddo. Ac efe a ddehongliodd yr ysgrifen iddo fel hyn: MANEH; y gair hwn, os esponir ef yn y Groeg, a all arwyddo rhif neu nifer; canys Duw a rifodd gyhyd o amser i'th fywyd di a'th lywodraeth; ac nid oes yn ol ond mesur bychan o hono. THECEL, pwysau; a'i ystyr yw fod Duw wedi pwyso mewn tafol neu glorian dy deyrnas di, ac yn ei chael yn myned eisoes i lawr. PHARES; hwn hefyd yn y dafodiaith Roeg a arwydda ddarnau neu ddrylliau: Duw gan hynny a dyrr neu a rwyga dy deyrnas yn ddarnau, ac a'i rhanna rhwng y Mediaid a'r Persiaid." *

Pan fynegodd Daniel i'r brenin fod yr ysgrifen ar y mur yn arwyddo 'r digwyddiadau hyn, Baltasar ydoedd yn drist ac yn drallodedig iawn, fel y gellid ei ddisgwyl, pan oedd y dehongliad yn gwasgu mor drwm arno ef. Pa fodd bynnag ni ommeddodd yr hyn a addawsai i Daniel, er ei ddyfod yn rhagfynegydd ei anhap, ond a'i cyfrannodd oll iddo ef. Megis yn ymresymmu fel hyn, fod yr hyn a wobrwyai yn perthynu yn unig iddo ei hun, ac i dynghedfen, ac na pherthynai i'r prophwyd: ond mai rhan dyn da a chyfiawn ydoedd cyfrannu 'r hyn a addawsai, er digwydd fod y damweiniau o natur adfydus. Yn awr ym mhen ychydig amser, efe ei hun, a'r ddinas, a gymmerwyd gan Cyrus brenin Persia, yr hwn a ymladdodd i'w erbyn. Canys Baltasar ydoedd yr hwn tan ba un y cymmerwyd Babilon, wedi iddo deyrnasu dwy flynedd ar bymtheg. A dyma ddiwedd hiliogaeth Nebuchodonosor, fel y mae hanesion yn hyspysu i ni. Ond pan gymmerwyd Babilon gan Darius; ac wedi iddo efe a'i gâr Cyrus ddodi diwedd ar lywodraeth y Babiloniaid, yr ydoedd efe yn ddwy a thrugain o flynyddau o oedran. Mab ydoedd efe i Astyages, ac oedd ag † enw arall iddo ym mhlith y Groegiaid. Ymhellach efe a gymmerodd Daniel y prophwyd gyd ag ef, ac a'i dug ymaith i Media, ac a'i hanrhydeddodd yn fawr, gan ei gadw gyd ag ef. Canys efe oedd un o'r tri rhaglawiaid a osododd ar ei dri chant a thrugain o daleithiau.

Pa fodd bynnag, tra 'r oedd Daniel yn y fath fawredd, ac mewn cymmaint parch gyd â Darius, ac a ymddiriedid yn unig iddo am bob peth gan y brenin, megis un ag oedd a rhyw ddwyfoldeb ynddo, fe a genfigennwyd wrtho gan y lleill: canys y rhai a welant eraill mewn mwy o anrhydedd na hwy eu hunain gyd â brenhinoedd, ydynt arferol o'u cynfigennu hwynt. Ac wedi i'r rhai oedd yn gofidio wrth y ffafr oedd gan Daniel gyd â Darius, geisio achlysur i'w erbyn, ni fedrent gael un bai ynddo. Canys fel yr oedd efe uwchlaw cymmeryd ei demtio gan arian, ac yn dirmygu gwobr, ac yn ei gyfrif yn beth gwael ac isel i dderbyn dim mewn ffordd o wobr, ie pan fyddai yn digwydd iddo yn gyfiawn, ni roddodd i'r rhai oedd yn ei gynfigennu yr achlysur lleiaf o gyhuddiad. Felly pan na allasant gael dim trwy 'r hyn yr enllibient ef wrth y brenin, a thrwy hynny ei ddifuddio o'r anrhydedd yr oedd ynddo; dyfeisiasant ryw foddion eraill trwy 'r hyn y gallent ei ddifetha ef. Pan ddeallasant gan hynny fod Daniel yn gweddio ar Dduw deirgwaith yn y dydd, tybiasant gael o honynt achlysur trwy ba un yr anrheithient ef. Felly hwy a ddaethant at Darius, gan ddywedyd wrtho fod y tywysogion a'r llywodraethwyr wedi tybied yn addas ganiattau i'r lliaws esmwythâd am ddeng niwrnod ar hugain; fel na byddai i neb osod i fynu ddeisyfiad neu ei weddi atto ef, neu un o'r duwiau: ond bod i'r un a droseddai y gorchymmyn hwn gael ei fwrw i ffau'r llewod, ac yno gael ei ddifetha.‡

* Daniel v. 28.

† Cyaxares.

‡ Daniel vi. 7.

Ar hyn y brenin, heb fod yn hyspys o'u hamcan drygionus, nac yn meddwl mai dyfais oedd yn erbyn Daniel, a ddywedodd ei fod yn boddloni i'r penderfyniad hwnnw, ac i gadarnhau yr hyn a archasent: efe hefyd a osododd allan ac a gyhoeddodd y gorchymmyn hwnnw a luniasai y tywysogion. Yn ganlynol, pawb a ofalasant i beidio troseddu 'r annogaethau hyn, ac a orphwysasant yn llonydd. Ond nid oedd Daniel yn gwneuthur sulw o honynt; ond fel yr oedd yn arferol, efe a safodd ac a weddiodd ar Dduw yn eu gŵydd hwynt oll. Y tywysogion yn awr, wedi cael yr achlysur yr oeddynt yn taer ddisgwyl am dano, a ddaethant yn ebrwydd at y brenin, ac a gyhuddasant Daniel fel yr unig berson a droseddasai yn erbyn y gorchymmyn, pan nad oedd neb arall yn meiddio gweddio ar eu duwiau. Yr achwyniad yma a wnaethant, nid o herwydd ei anghyfiawnder, ond oblegid iddynt ei wylied a sylwi arno o gynfigen; trwy feddwl i Darius wneuthur y modd yma, allan o garedigrwydd tu hwnt i'r hyn a ddisgwyliasant; a'i fod ef yn barod i'w bardynu am y diystyrwch hwn o'i orchymmyn; a chan eiddigeddu wrth y pardwn hwnnw i Daniel, ni ddaethent yn fwy ffafrol iddo, ond a ddeisyfiasant iddo gael ei fwrw i ffau 'r llewod, yn ol y gyfraith. Felly Darius yn gobeithio y byddai i Dduw ei waredu ef, ac na ddioddefai ddim a fyddai niweidiol oddiwrth y bwystfilod gwylltion, a'i hannogodd i oddef y ddamwain hon yn gyssurus: a phan fwriwyd ef i'r ffau, efe a seliodd y maen oedd ar enau y ffau, ac a aeth ymaith. Yna efe a dreuliodd yr holl nos heb luniaeth ac heb gwsg, ag efe mewn gofal mawr am Ddaniel: a phan oedd yn ddydd efe a gyfododd i fynu, ac a ddaeth at y ffau, ac a gafodd y sêl yn gyfan ar y maen a seliasai ef. Efe hefyd a agorodd y sêl, ac a alwodd ar Ddaniel, gan ofyn a ydoedd yn fyw? A chyn gynted ag y clybu efe lais y brenin, a dywedyd na oddefasai ddim niweid, y brenin a roddes orchymmyn i'w dynnu allan o'r ffau. Yn awr, pan welodd ei elynion na dderbyniasai Daniel ddim niweid, ni chydnabyddent ei achub gan Dduw, a thrwy ei ragluniaeth; ond hwy a haerent fod y llewod wedi eu digoni ag ymborth; ac ar y cyfrif hwnnw yr oedd, fel y tybient hwy, na chyffyrddent â Daniel, ac na ddaethant yn agos atto. A hyn a haerent wrth y brenin. Ond y brenin oddiar ffieiddiad o'u drygioni, a barodd fwrw i mewn fesur helaeth o gig i'r ffau; a phan lanwodd y llewod eu hunain, efe a orchymmynodd ym mhellach fwrw gelynion Daniel i mewn i'r ffau; fel y dysgent wybod pa un a wnai 'r llewod, a hwy yn awr yn llawnion, gyffwrdd â hwynt hwy, neu beidio. Ac fe ymddangosodd yn eglur i Darius, yn ol bwrw'r tywysogion at y bwystfilod gwylltion, mai Duw ydoedd yr hwn a gadwodd Daniel.* Canys ni arbedodd y llewod un o honynt hwy, ond a'u rhwygasant oll yn ddrylliau, fel pe buasent yn dra newynog ac â chwant ymborth. Yr wyf yn tybied gan hynny mai nid eu newyn, yr hwn ychydig o'r blaen a ddiwallasid â digonoldeb o gig, ond mai drygioni y dynion hyn a'u cynhyrfodd i ddifetha y tywysogion. Canys os rhynga hynny fodd Duw, dichon drygioni 'r annuwiol, ïe gan greaduriaid afresymmol, gael ei gyfrif yn sylfaen eglur o'u cospedigaeth.

Gan hynny, wedi i'r rhai a fwriadasent ddifetha Daniel trwy fradwriaeth, gael eu difetha eu hunain; y brenin Darius a ddanfonodd lythyrau tros ei holl wlad, ac a foliannodd y Duw ag oedd Daniel yn ei addoli; gan ddywedyd mai efe oedd yr unig wir Dduw, ac â gallu ganddo. Efe hefyd a osododd Daniel mewn cyfrif mawr; ac a'i gwnaeth yn bennaf ar ei gyfeillion. Yn awr, wedi i Daniel ddyfod mor glodfawr ac enwog, ar gyfrif y tŷb oedd gan ddynion am dano ei fod yn anwyl gan Dduw, efe a adeiladodd †

* Nid yw mewn un modd yn annhebygol ddarfod i elynion Daniel geisio gosod eu rheswm o flaen y brenin, pa ham na chyffyrddasai y llewod âg ef; ac fel yr oeddynt yn dychymmygu, mai cymmwynasgarwch y brenin i Daniel a barodd i'r llewod hyn gael ym mlaenllaw eu diwallu; ac mai oddiwrth hynny yr oedd, ddarfod iddo gefnogi Daniel i ymostwng i'r profiad hwn, mewn gobaith o ddyfod trwyddo yn ddiangol: ac mai hyn oedd y gwir achos o wneuthur prawf mor arswydus ar fywydau ei elynion a'u holl deuluoedd: Dan. vi. 24. er nad yw ein copiau eraill yn bendant yn gwneud sulw o hono.

† Am y Baris neu'r tŵr yma, wedi ei adeiladu gan Ddaniel, pa un ai a ydoedd yn Ecbatana ym Media, megis y mae ynghopiau presennol Josephus, neu yn Susa yn Persia, fel y mae Jerom yn ei grybwyll, o'i gopiau ef o Josephus, sydd anhawdd ei benderfynu. Deon Prideaux sydd yn golygu mai Jerom yw'r iawn ddarlleniad; a bod y tŵr hwn yn Susa. Gwel Cyssylltiad, Rhan I. wrth y flwyddyn 534.

dŵr yn Ecbatana ym Media. Yr ydoedd yn adeilad tra ardderchog, ac o wneuthuriad cywrain; y mae 'n sefyll etto, ac yn cael ei gadw hyd y dydd hwn: ac i'r cyfryw a'i gwelsant mae 'n ymddangos megis yn adeilad diweddar, ac fel pe gwnaethid ef y dydd hwnnw pan edrycho rhyw un arno: mor newydd* a harddwych ydyw; ac heb heneiddio mewn un gradd er's cyhyd o amser. Canys adeiladau sy'n goddef y cyffelyb gyfnewidiadau a dynion, maent yn heneiddio megis hwythau, a thrwy amldra blynyddoedd, eu cadernid sy'n amharu, a'u harddwch yn llychwino.

Yn awr, y tŵr yma yw lle o gladdfa brenhinoedd Media, Persia, a Pharthia hyd y dydd hwn. Eithr y mae'n iawn rhoddi cyfrif o'r hyn a wnaeth y dyn hwn: canys yr ydoedd wedi ei ffafrio gymmaint a chaniattau iddo ddatguddiedigaethau amryw a dieithr, a hynny megis i un o'r prophwydi pennaf. Tra 'r ydoedd yn fyw'yr oedd y brenhinoedd a'r llïaws yn ei barchu ac yn ei fawrhau; ac yn awr wedi ei farw, y mae iddo goffadwriaeth na dderfydd byth. Canys yr amrywiol lyfrau a ysgrifennodd ac a adawodd o'i ol, a darllennir gennym etto hyd yr amser hwn; ac oddiwrthynt hwy yr ydym yn credu ei fod yn cyfeillachu â Duw: canys ni phrophwydodd efe yn unig am bethau i ddyfod, fel y darfu i'r prophwydi eraill; ond efe hefyd a benderfynodd yr amser o'u cyflawniad. A phan ydoedd prophwydi eraill yn rhagfynegi barnedigaethau, a thrwy hynny yn gwneuthur eu hunain yn anghymmeradwy gan frenhinoedd a'r llïaws, Daniel ydoedd iddynt yn brophwyd o bethau daionus, a hynny i'r fath radd, fel, wrth nattur ddymunol ei brophwydoliaethau, yr oedd yn ynnill ewyllys da pob rhyw ddynion; a thrwy gyflawniad o honynt, fe barodd grediniaeth o'u gwirionedd, a dychymmyg am fath o ddwyfoldeb ynddo ei hun ymhlith y llïaws. Efe hefyd a ysgrifennodd ac a adawodd o'i ol yr hyn oedd yn amlygu cywreinrwydd a gwirionedd ei rag-ddywediadau. Canys efe a ddywed mai pan oedd yn Susa, prif-ddinas Persia, a myned o hono allan i'r maes gyd â'i gymdeithion, digwyddodd yn ddisymmwth ysgogiad a symmudiad yn y ddaear; a'i fod ef wedi ei adael yn unig, gan i'w gyfeillion ffoi ymaith oddiwrtho; ac iddo ef gael ei ddychrynu, a chwympo o hono ar ei wyneb, ac ar ei ddwylaw; a darfod i ryw un gyffwrdd ag ef, ac ar yr un pryd beri iddo gyfodi, a sylwi ar yr hyn a ddigwyddai i'w gydwladwyr yn ol llawer o genhedlaethau. Adroddodd hefyd, mai wedi iddo gyfodi, dangoswyd iddo hwrdd mawr, ag amryw o gyrn yn tyfu allan o'i ben ef; a bod y diweddaf yn uwch na'r lleill: ac mai ar ol hyn iddo edrych tu a'r gorllewin, a gweled o hono fwch gafr, yn cael ei ddwyn ymaith trwy'r awyr o'r chwarter hwnnw; iddo ef ruthro ar yr hwrdd gyd â thrais, a'i daro ddwywaith â'i gorn, a'i fwrw i lawr, a sathru arno ef: ac mai ar ol hynny iddo weled corn o fawr faintioli yn tyfu allan o dalcen y bwch; ac wedi ei dorri ymaith, pedwar corn a dyfodd yn ei le ef, tu a phedwar gwynt y nefoedd: ac efe a ysgrifennodd gyfodi o honynt hwy gorn bychain arall, yr hwn, fel y dywedodd efe, a dyfodd yn fawr: a darfod i Dduw ddangos iddo ef yr ymladdai yn erbyn ei genedl, ac y cymmerai eu dinas trwy drais, gan ddwyn annhrefn ar addoliad y deml, a gwahardd offrymmu 'r aberthau tros un fil dau cant ac un ar bymtheg a phedwar ugain o ddyddiau. †

Daniel a ysgrifennodd weled o hono y gweledigaethau hyn yngwastadedd Susa; ac efe a hyspysodd i ni ddarfod i Dduw amlygu ymddangosiad y weledigaeth hon iddo yn y modd canlynol:—Efe a ddywedodd fod yr hwrdd yn arwyddo teyrnasoedd y Mediaid a'r Persiaid; a'r cyrn, y brenhinoedd a deyrnasai ynddynt: a bod y corn diweddaf yn arwyddo y brenin diweddaf; ac y byddai iddo ef ragori ar yr holl frenhinoedd mewn cyfoeth a mawrhydi. Fod y bwch gafr yn arwyddo, y byddai i un ddyfod a

* Yr hyn a ddywed Josephus yma, fod meini y beddrodau perthynol i frenhinoedd Persia, yn y Baris hwn, neu rai ysgatfydd o'r un natur a elwir yn awr yn gyffredin adfail Persepolis, a barhasent mor ddigyfnewid ag i edrych megis yn newydd yn ei ddyddiau ef, fel pe buasent wedi eu dodi yno yn ddiweddar. "Gallaf," ebe Reland, "wirio hyn, ymherthynas i'r meini ym meddfa Brenhinoedd Persia o ba rai y torrodd Corn. Brunius ychydig, ac a'i rhoddodd i mi." Efe a gyfrifodd hyn i galedwch y cerrig, y rhai yn brin a argraphir arnynt ag offerynnau haiarn, ac yn profi yn fynych yn rhy galed i'w torri â chŷn, ond sy 'n aml yn dryllio'r cŷn yn ddarnau. Gwelwch y cyffelyb am yr adeiladau Armeniaidd yn Semiramis, gan Moses Chorenensis, t. d. 46.

†Gwel Dan. viii. 1--14.

theyrnasu o'r Groegiaid, yr hwn a ymladdai ddwywaith a'r Persiaid, ac y gorchfygai hwynt mewn brwydr, a meddiannu 'r llywodraeth yn gyflawn: ac wrth y corn mawr a dyfai o dalcen y bwch-gafr, y meddylid y brenin cyntaf: ac wrth dyfiad y pedwar corn ar gwymp y llall ymaith, a gogwyddiad pob un o honynt tu â phedwar chwarter y byd, y meddylid y rhai a ddilynent i deyrnasu ar ol marwolaeth y brenin cyntaf; a rhaniad y deyrnas yn eu plith hwynt; ac na fyddent blant na charennydd i frenhinoedd blaenorol, a lywodraethai ar deyrnasoedd trigiannol y byd tros lawer o flynyddoedd: ac mai o'u mysg hwynt y cyfodai rhyw frenin a ddadymchwelai ein cenedl ni a'n cyfreithiau, ac y symmudai ymaith y llywodraeth wladwriaethol, gan yspeilio 'r deml, a gwahardd offrymmu 'r aberthau am dair blynedd o amser. Yn ganlynol fe ddigwyddodd i'n cenedl oddef y pethau hyn tan Antiochus Epiphanes, yn gyttûn a gweledigaeth Daniel; a'r hyn a ysgrifennodd efe lawer o flynyddoedd cyn eu dyfod i ben. Yn yr un modd yr ysgrifennodd Daniel ymherthynas i'r llywodraeth Rufeinaidd, ac y byddai i'n gwlad ni gael ei difrodi ganddynt hwy. Yr holl bethau yma a adawodd y gwr hwn yn ysgrifenedig, fel y dangosasid hwy iddo gan Dduw. Yn gymmaint ag y dichon y rhai a ddarllenant ei brophwydoliaethau, a gweled yn amlwg y modd y cyflawnwyd hwynt, a all yn gyfiawn ryfeddu wrth yr anrhydedd â'r hwn yr anrhydeddodd Duw Ddaniel: ac oddi yma a all weled y modd y mae'r Epiciwriaid mewn cyfeiliorni; ag sydd yn gwadu rhagluniaeth mewn perthynas i fywydau dynolryw; ac nad ydynt yn credu fod Duw yn gofalu ac yn llywodraethu yn achosion y byd: na bod y greadigaeth yn cael ei threfnu a'i chynnal mewn bod trwy'r Hanfod bendigedig ac anfarwol hwnnw: ond yn haeru fod y byd yn cael ei ddwyn ymlaen o hono ei hun, heb lywodraethiad arno na gofal drosto: yr hwn pe gadewid yn ymddifad o gyfarwyddwr i'w amddiffyn a'i flaenori, fel y dychymmygent hwy; fe fyddai fel llong heb lywydd arni, yr hon a welid yn cael ei difetha gan y dymmestl; neu gerbydau heb yrrwyr arnynt, y rhai a ddadymchwelid: felly y byd a â'i bendramwnwgl i annhrefn heb ragluniaeth, ac yn ganlynol a ddarfyddai am dano, ac a ddeuai i ddim. Felly oddiwrth dystiolaethau rhagfynegol Daniel, ymddengys fod y dynion hynny yn cyfeiliorni oddi wrth y gwirionedd, ag a benderfynant nad yw Duw yn defnyddio un rhagluniaeth yn llywodraethiad achosion dynolryw. Canys pe hynny fyddai yn bod, sef i'r byd gael ei ddwyn ymlaen wrth reolaeth o angenrheidrwydd, ni chanfyddem bob peth yn dyfod o amgylch yn ol ei brophwydoliaeth ef. Yn awr, ymherthynas im' fy hun, myfi a ddesgrifiais y matterion hyn megis y cefais ac y darllenais hwynt: ond os bydd neb yn cael eu tueddu i dybied yn amgen ymherthynas iddynt, arhosed yn ei farn heb un sèn na cherydd oddi wrthyf fi.

---

# LLYFR XI.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddau Cant a Deg a Deugain o Flynyddoedd, a Phum' Mis.*

## O'R GYNTAF O DEYRNASIAD CYRUS, HYD FARWOLAETH ALEXANDER FAWR.

### PENNOD I.

***Am Ganiattâd Cyrus, * brenin Persia, i'r Iuddewon, i ddychwelyd i'w Gwlad eu hun, ac i ail-adeiladu'r Deml.***

YN y † flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Cyrus, yr hon oedd y ddegfed a thrugain o'r dydd y symmudwyd yr Iuddewon o'u gwlad eu hunain

* D. S. Nid yw Josephus fyth yn gwneuthur defnydd o'n llyfr Hebreaidd Ezra, yr hwn o bossibl ni ddarfu iddo erioed ei weled; ond yn unig llyfr cyntaf Esdras, gennym ni a elwir yn Apocryphaol; a'r hwn a ddarllennodd efe yn Hebraeg; ond yr hwn gopi Hebraeg a gollwyd er 's hir amser: ein llyfr ni sydd ar gael yn unig ynghyfieithiad y Septuagint, a'r Lladin cyffredinol.

† 2 Cron. xxxvi. 22.---Ezra i. 1.

i Babilon; Duw ydoedd yn tosturio wrth gaethiwed a chaledi y bobl druain hyn, megis y rhagfynegodd trwy Jeremiah y prophwyd, * cyn dinystrio 'r ddinas; mai ar ol iddynt wasanaethu Nebuchodonosor, a'i hiliogaeth, ac yn ol myned tan y caeth-wasanaeth hwnnw † ddeng mlynedd a thrugain, yr adferai hwynt drachefn i dir eu tadau; yr ail-adeiladent y deml, ac y mwynhaent eu dedwyddwch hynafiaethol. A'r pethau hyn a ganiattaodd Duw iddynt. Canys efe a gynhyrfodd feddyliau Cyrus, ac a barodd iddo ysgrifennu fel hyn trwy holl Asia: "Fel hyn y dywed Cyrus y brenin: Gan i'r Hollalluog Dduw fy ngosod i yn frenin y ddaear drigiannol; yr wyf yn credu mai efe yw y Duw hwnnw ag y mae cenedl yr Israeliaid yn ei addoli: canys yn wir efe a ragddywedodd am fy enw i trwy 'r prophwydi; ac yr adeiladwn dŷ iddo yn Jerusalem, yng ngwlad Judea."

Hyn a wnaethpwyd yn adnabyddus i Cyrus wrth ddarllen o hono y llyfr a adawodd Esay ar ei ol yn ei brophwydoliaethau. Canys y prophwyd hwn a ddywedodd, Ddarfod i Dduw lefaru wrtho fel hyn mewn gweledigaeth ddirgel:—"Fy ewyllys yw, ar fod i Cyrus yr hwn a appwyntiais yn frenin ar lawer a mawrion genhedlaethau, ddanfon yn ol fy mhobl i'w gwlad eu hun, ac adeiladu fy nheml."‡ Hyn a ragddywedwyd gan Esay un cant a deugain o flynyddau cyn dadymchwelyd y deml. Yn ganlynol pan ddarllennodd Cyrus hyn, a rhyfeddu wrth y dwyfol awdurdod, cyfododd dymuniad gwresog ynddo i gyflawni 'r hyn a 'sgrifennasid. Felly efe a alwodd am y rhai mwyaf enwog o'r Iuddewon ag oedd yn Babilon, ac a ddywedodd ei fod yn rhoddi cennad iddynt i fyned yn ol i'w gwlad eu hun, ac i ail-adeiladu § eu dinas Jerusalem, a theml Dduw; o herwydd y byddai efe yn gynnorthwywr iddynt. Yr ysgrifennai at y pennaethiad a'r llywodraethwyr ynghymmydogaeth Judea, a'r fod iddynt gyfrannu aur ac arian, tu ag at adeiladaeth y deml; ac heb law hynny, parottoi anifeiliaid iddynt yn aberthau.

Wedi i Cyrus lefaru fel hyn wrth yr Israeliaid, pennaethiaid y ddau lwyth, Judah a Benjamin, gyd â'r Lefiaid a'r offeiriaid, a aethant gyd â brŷs i Jerusalem. Etto llawer o honynt a arosasant yn Babilon, megis heb ewyllysio ymadael â'u meddiannau. Ac wedi iddynt ddyfod yno, holl swyddogion y brenin a'u cynnorthwyasant; ac a ddygasant i mewn at adeiladaeth y deml, rai aur, ac eraill arian; a rhai nifer mawr o anifeiliaid a meirch.

Felly hwy a dalasant eu haddunedau i Dduw; ac a offrymmasant yr aberthau oedd arferedig yn yr hen amser: hyn yr wyf yn ei feddwl a wnaethant ar ail-adeiladaeth eu dinas, ac adnewyddiad eu hymarferiadau hynafol ymberthynas i'w haddoliad. Cyrus hefyd a ddanfonodd yn ol y llestri perthynol i wasanaeth Duw, y rhai a gymmerasai y brenin Nebuchodonosor o'r deml, ac a'u dygasai i Babilon. Felly efe a orchymmynodd ofal y pethau hyn i Mithridates y trysorydd, i'w hanfon ymaith, gyd â gorchymmyn i'w rhoddi at Sanabasser, fel y cadwai efe hwynt hyd oni adeiladid y deml: a phan orphennid, y gallai efe eu rhoddi i'r offeiriaid a phennaethiaid y lliaws, mewn trefn i'w hadferyd i wasanaeth y deml. Cyrus hefyd a ddanfonodd yr epistol canlynol i'r llywodraethwyr oedd yn Syria:

Y BRENIN CYRUS AT SISINNES A SATHRABUZANES, YN ANFON ANNERCH.

Myfi a roddais gennad i gynnifer o Iuddewon yn fy ngwlad ag a welent yn dda ddychwelyd i'w gwlad eu hunain, i ail adeiladu eu dinas, a theml Dduw yn Jerusalem, ar yr un lle ag yr

---

* Y Cyrus hwn sy'n cael ei alw gan Xenophon, Bugail Duw, t. d. 581. yn gystal a chan Esay xlv. 28. megis hefyd y dywedir am dano gan yr un prophwyd, "Gwnaf ddyn yn werthfawroccach nag aur coeth; ie, dyn na chŷn o aur Ophir," Esay xiii. 12. yr hwn ymadrodd am dano sy'n gwneuthur hanesiad odidog Xenophon yn dra chrediniol.

† Jer. xxxv. 11.

‡ Esay xliv. 28.

§ Y canittâd hwn i adeiladu Jerusalem, a'r epistol yma oddi wrth Cyrus at Sisinnes a Sathrabuzanes i'r un pwrpas, ydynt, yn annedwydd, wedi eu gadael allan yn ein holl gopiau eraill, ond yn yr un goreu a'r cyflawnaf hwn o eiddo Josephus; a thrwy 'r fath adawiad allan, prophwydoliaeth glodfawr Esay xliv. 28. ym mha le 'r hyspysir i ni, i Dduw lefaru am neu wrth Cyrus---Fy mugail yw, ac efe a gyflawna fy holl ewyllys: gan ddywedyd wrth Jerusalem, ti a adeiledir: ac wrth y deml, ti a sylfeinir; ni ellid hyd yn hyn ei egluro, oddi wrth hanes cyssegredig, i gael ei gwbl gyflawni: fy meddwl yw ymherthynas i'r rhan hynny o hono a berthynai i roddiad ei orchymmyn neu awdurdod, i ail-adeiladu dinas Jerusalem, megis yn wahaniaethol oddi wrth y deml; ail-adeiladaeth pa un yn unig a ganiatteir neu a gyfarwyddir yng ngorchymmyn Cyrus yn ein holl gopiau.

adeiladwyd hi o'r blaen: myfi hefyd a ddanfonais fy nhrysorydd Mithridates, a Zorobabel llywodraethwr yr Iuddewon, fel y gosodent hwy sylfeini y deml, a'i hadeiladu yn drugain cufydd o uchder, ac o'r unehangder: gan ei gwneud yn dair adeilad o gerrig nadd, ac un o goed y wlad honno: a'r un rheol sydd i'w dilyn ymherthynas i'r allor, ar yr hon yr offrymmant aberthau i Dduw. Yr wyf yn gofyn hefyd fod i draul y pethau hyn gael ei gyfrannu o'm trysorau i. Myfi hefyd a ddanfonais y dodrefn a ddygodd y brenin Nebuchodonosor o'r deml, ac a'u rhoddais at Mithridates y trysorydd, ac i ofal Zorobabel llywodraethwr yr Iuddewon; fel eu dygér ganddynt hwy i Jerusalem, a'u dychwelyd i deml Dduw. Yn awr eu *rhifedi sydd fel y canlyn; deg a deugain o ddysglau aur, a phum cant o rai arian; deugain o gwppanau aur, a phum cant o rai arian; deg a deugain o phiolau aur, a phum cant o rai arian; deg ar hugain o lestri i dywalltiad y ddïod offrwm, a thri chant o rai arian; deg ar hugain o gostrelau aur, a dwy fil a phedwar cant o rai arian; gyd a mil o lestri eraill. Yr wyf yn cenhadu iddynt gael yr un parch ag a arferent gael yn amser eu tadau: megis am anifeiliaid ieuaingc, a gwin, ac olew, dau cant pum mil a phum cant drachmæ; ac am beilliad gwenith, ugain mil a phum cant artabæ. Ac yr wyf yn rhoddi gorchymmyn fod i'r draul yma gael ei wneud i fynu o'r deyrnged a berthyn i Samaria. Yr offeiriaid hefyd sydd i offrymmu'r aberthau hyn yn ol cyfraith Moses yn Jerusalem: a phan offrymmant hwy, gweddiant ar Dduw am gadwedigaeth y brenin a'i deulu; ac am barhad teyrnas Persia. Ond fy ewyllys yw, am y rhai a anufuddhant y gorchymmynion hyn, a'u gwneud yn ddirym, eu crogi hwynt i fynu ar groes, a'u heiddo gael eu dwyn i drysorfa 'r brenin. A'r cyfryw ydoedd gynnwysiad yr epistol hwn.

Yn awr, rhifedi y rhai a ddaethant o'r caethiwed i Jerusalem, ydoedd ddwy fil a deugain, pedwar cant a dau a thrugain o eneidiau.

## PENNOD II.

*Am y gwrthwynebiad a gafodd yr Iuddewon oddiwrth y Cutheaid, a'r Llywodraethwyr cymmydogol: am orchymmyn Cambyses i attal adeiladu y Deml.*

PAN osodasid sylfeini 'r deml, a'r holl Iuddewon yn prysuro i'w hail-adeiladu, y cenhedlaethau cymmydogol, ac yn enwedig y Cutheaid, y rhai a ddygasai Shalmanezer, brenin Assyria, allan o Persia a Media, ac a'u plannodd yn Samaria, pan ddygasai efe ymaith bobl Israel yn gaethion, a ddeisyfiasant ar y llywodraethwyr a'r rhai ag oedd â gofal y fath achosion, ar fod iddynt attal yr Iuddewon yn ailadeiladaeth y ddinas a'r deml. Yn awr, fel ag y llygrwyd y dynion hyn ag arian, gwerthasant i'r Cutheaid eu hawdurdod am beri i'r adeiladaeth yma fod yn waith arafaidd a diofal. Canys Cyrus, yr hwn oedd brysur ynghylch rhyfeloedd eraill, ni wyddai ddim am hyn oll; ac fe ddigwyddodd felly fel ag yr oedd efe yn tywys ei fyddin yn erbyn y †Massagetiaid, ddiweddu o hono ei fywyd. Ond wedi i Cambyses, mab Cyrus, gymmeryd y deyrnas, llywodraethwyr Syria a Phœnicia, ac yngwledydd Ammon a Moab, a Samaria, a sgrifennasant epistol at Cambyses; cynnwysiad pa un oedd fel y canlyn:

"At ein harglwydd Cambyses, nyni dy weision, Rathumus yr hanesydd, a Semellius yr ysgrifennydd, ac eraill, y rhai ydym dy farnwyr yn Syria a Phœnicia, yn anfon annerch. Mae'n

* Am wir rifedi y llestri aur ac arian, a grybwyllir yma, ac mewn mannau eraill, megis yn perthyn i deml Solomon, gwel ddescrifiad y Temlau, pen. 13.

† Josephus yma sydd yn dilyn Herodotus, a'r rhai a adroddasant y modd y gwnaeth Cyrus ryfel â'r Scythiaid ac â'r Massagetiaid yn agos i'r môr Caspian, a darfod am dano ynddo. Am yr hwn y llefara Strabo, XI. t. d. 307, i'r hyn y mae efe etto yn rhoddi ychydig gred. Pan y mae hanes Xenophon, yr hwn a ymddengys na welwyd erioed gan Josephus, yn adrodd ddarfod i Cyrus farw mewn heddwch yn ei wlad ei hun, Persia; yr hyn a gadarnheir gan ysgrifenwyr achosion Alecsander fawr; pan y maent yn cyttuno, ddarfod iddo gael beddrod Cyrus yn Pasargada, gerllaw Persepolis. Y cyfrif yma o'r eiddo Xenophon a gadarnheir yn gryf hefyd trwy amgylchiadau Cambyses, ar ei ddilyniad o Cyrus; yr hwn yn lle rhyfel i ddial marwolaeth ei dad ar y Scythiaid a'r Massagetiaid, ac i ragflaenu y cenhedlaethau hyn i oresgyn ei daleithiau gogleddol, yr hyn a fuasai'r canlyniad naturiol o aflwyddiant a marwolaeth ei dad yno, a aeth yn union-gyrch i ryfel â'r Aipht, a ddechreuasid er's hir amser gan Cyrus, yn ol adroddiad Xenophon, t. d. 644, ac a orchfygodd y wlad honno. Ac nid oes, am a glywais i erioed sôn, y crybwylliad lleiaf yn nheyrnasiad y Cambyses hwn, o un rhyfel yn erbyn y Scythiaid neu'r Massagetiaid, ag y bu efe wedi ymrwymo ynddo. Yn awr, ar y ffordd, a ydyw'r Cambyses hwn yn amgen na'r Artashasta ag y mae ein llyfr canonaidd Ezra yn ei enwi yn y lle hwn, iv. 5, &c.?

weddus i ti, O frenin! gael gwybod, fod yr Iuddewon hynny a ddygasid i Babilon, wedi dyfod i'n gwlad ni; ac ydynt yn adeiladu eu dinas wrthryfelgar a drygionus; lleoedd y marchnadoedd, a'r muriau, ac yn ailgyfodi y deml. Gwybydd, gan hynny, mai pan orphennir y pethau hyn, na byddant ewyllysgar i dalu teyrnged, ac nad ymostyngant i'th awdurdod: ond a wrthwynebant frenhinoedd, ac a ddewisant yn hytrach lywodraethu ar eraill, na chael eu llywodraethu eu hunain. Nyni gan hynny a dybiasom yn addas ysgrifennu attat ti, O frenin, pan y mae'r gwaith o amgylch y deml yn myned ym mlaen gyd â'r fath frŷs, ac heb fod yn ddisulw o'r matterion hyn; fel y gallech chwilio i mewn i lyfrau dy dadau; canys ti gei ynddynt fod yr Iuddewon yn wrthryfelgar yr amseroedd gynt, ac yn elynion i frenhinoedd, megis ag y bu eu dinas yn wrthryfelgar hefyd; pa un o'r achos hynny a fu hyd yn ddiweddar yn anghyfannedd. Tybiasom yn gymmwys hefyd hysbysu i ti am y matter hwn; o herwydd y gelli, pe amgen, fod heb wybod, mai os cyfanneddir unwaith y ddinas hon, ac os amgylchynir hi yn gwbl â muriau, ti rwystrir yn dy ffordd i Cœlesyria a Phœnicia."

Pan ddarllennodd Cambyses yr epistol, yr hwn ag efe o naturiaeth annuwiol, efe a gynhyrfwyd wrth yr hyn a adroddasent; ac a ysgrifennodd yn ol attynt fel y canlyn:

"Cambyses y brenin, at Rathumus, at Beeltethmus, at Semellius yr ysgrifennydd, ac eraill sydd mewn awdurdod, ac yn aros yn Samaria a Phœnicia, yn y modd hwn. Darllennais yr epistol a ddanfonwyd oddiwrthych chwi; ac mi orchymmynais i lyfrau fy nhadau gael eu chwilio: ac fe geir yno fod y ddinas honno Jerusalem, bob amser yn elyniaethol i frenhinoedd; a'i phreswylwyr a godasant derfysg a rhyfel. Yr ydym hefyd yn ystyried fod eu brenhinoedd yn nerthol a gorthrymmus; ac wedi codi teyrnged gynt oddiar Cœlesyria a Phœnicia. O herwydd pa ham fy ngorchymmyn ydyw, na chaniattäer i'r Iuddewon adeiladu y ddinas honno; rhag i'r cyfryw niweid ag a wnaethant hwy i frenhinoedd gael etto ei gynnyrchu." Wedi darllen yr epistol hwn, Rathumus, a Semellius yr ysgrifennydd, a'u cymdeithaswyr, a gymmerasant eu meirch gyd â brys i ddyfod i Jerusalem: hwy hefyd a ddygasant liaws mawr gyd â hwynt, ac a waharddasant i'r Iuddewon adeiladu y ddinas a'r deml. Yn ganlynol, y gweithiau hyn a rwystrwyd i fyned ym mlaen hyd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius, tros naw mlynedd yn rhagor. Canys Cambyses a deyrnasodd tros saith mlynedd,* ac o fewn yr amser hynny a ddadymchwelodd yr Aipht: ac wedi ei ddyfod yn ol, efe a fu farw yn Damascus.

## PENNOD III.

*Am dderchafiad Darius i orseddfaingc Persia; uchafiaeth Zorobabel ar attebiad dwfn-gwestiynau; a'r caniattâd a gafodd efe i ail-adeiladu y Deml.*

YN ol darfod lladd y Magi,† y rhai ar farwolaeth Cambyses, a gynnaliasant lywodraeth y Persiaid am un flwyddyn; y teuluoedd hynny y rhai a elwid yn saith deuluoedd y Persiaid, a appwyntiasant Darius, mab Hystaspes, i fod yn frenin arnynt. Yn awr, efe cyn myned i sefyllfa ddyrchafedig, a addunedasai i Dduw, os deuai i fod yn frenin, yr anfonai holl lestri gwasanaeth Duw ag ydoedd yn Babilon, i'r deml yn Jerusalem. Ac fe ddigwyddodd ynghylch yr amser hyn, i Zorobabel, yr hwn a wnaethid yn llywodraethwr yr Iuddewon a fuasai yn y caethiwed, ddyfod at Darius o Jerusalem; canys yr ydoedd cyfeillgarwch er cynt rhyngddo ef â'r brenin. Efe hefyd, gyd â dau eraill, a farnwyd yn gymmwys i fod yn wylwyr corph y brenin, ac a gawsant yr anrhydedd ag ydoedd yn ei ddisgwyl am dano.

Yn awr, yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad y brenin, Darius a wleddodd y rhai oedd gyd ag ef, a'r rhai a anesid yn ei dŷ, gyd â llywodraethwyr y Mediaid, a thywysogion y Persiaid, ac ardalwyr India ac Ethiopia, a phennaethiaid

* Cambyses a deyrnasodd, yn ol canon Ptolemy, trwy gyfrif saith o fisoedd y Magi, wyth mlynedd. Nid yw Josephus yn cyfrif i Cambyses yma ond chwe blynedd, a'r Magi un flwyddyn; saith trwy'r cwbl. Tybiaf mai canon Ptolemy yw'r iawn nifer; er nad yw'r gwahaniaeth rhwng y cyfrif hwnnw a Josephus, yn ychwaneg nag un flwyddyn.

† Bl. 522.

byddinoedd ei gant a saith ar hugain o daleithiau. Ond wedi iddynt fwytta ac yfed yn ddigonol, hwy a ymadawsant bob rhai i'w tŷau eu hunain. A Darius y brenin a aeth i'w esmwythder. Ond wedi iddo orphwys tros ran fechan o'r nôs, efe a ddeffrôdd; ac heb allu huno dim yn rhagor, efe a gwympodd i ymddiddan â'i dri gwyliedydd; ac a addawodd i'r hwn a wnai araith ar byngciau a ymofynnai yn eu cylch, y fath ag a fyddai yn gyttunol â gwirionedd ac egwyddorion doethineb; y caniattai, megis yn wobr am ei lafur, iddo ymddilladu â gwisg borphor, yfed o gwppanau aur, gorwedd ar wely o aur, a chael cerbyd gyd â ffrwyni aur, a phenwisg o liain meinwych, a chadwyn aur o amgylch ei wddf, ac eistedd yn nesaf iddo ei hun, ar gyfrif ei ddoethineb, a chael ei alw yn gâr agos iddo. Yn awr, wedi addaw iddynt y rhoddion hyn, efe a ofynnodd i'r cyntaf o honynt, Onid y peth cryfaf ydoedd gwin? i'r ail, onid y cyfryw ydoedd brenhinoedd? ac i'r trydydd, onid y cyfryw rai ydoedd gwragedd? neu pa un a ydoedd gwirionedd yn gryfaf o'r cwbl? wedi eu cymmell i wneud eu hymofyniad ynghylch y cwestiynau hyn, efe a aeth i orphwys. Ond yn y boreu efe a ddanfonodd am ei wŷr mawr, ei dywysogion, a rhaglawiaid Persia a Media; ac a eisteddodd i lawr yn y lle ag yr oedd yn arferol o roddi gwrandawiad; ac a baroddi bob un o'i wylwyr corphorol adrodd eu meddyliau ymherthynas i'r cwestiynau a osodasai iddynt, yngwrandawiad pawb oedd yn bresennol.

Yn ganlynol, y cyntaf o honynt a ddechreuodd lefaru am nerth gwin; ac a'i eglurodd fel hyn: "Pan," eb efe, "yr wyf fi i ddangos fy meddwl ymherthynas i win, O chwychwi wŷr, yr wyf yn ei gael yn rhagori ar bob peth trwy'r arwyddion canlynol. Mae'n twyllo meddwl y rhai a'i hyfant, ac yn darostwng brenhinoedd yn gydradd â'r rhai ymddifaid, ac sy'n sefyll mewn diffyg o un i'w haddysgu; ac yn gwneuthur y caethwas i feddiannu hyfdra gwr rhydd; a'r tlawd angenus i fod megis y gwr cyfoethog. Canys y mae'n cyfnewid cynneddfau eneidiau dynion, wedi ei fyned i'w mewn: y mae'n diffodd tristwch y rhai fyddo mewn gofidiau; ac yn peri i ddynion anghofio eu dyledion, a thybied eu hunain yn gyfoethoccaf o bawb: y mae'n peri iddynt na siaradont am bethau bychain, ond cyffelyb i dalentau, a phethau eraill o'r fath enwau ag sy'n perthynu i'r cyfoethogion. Nag ê, ym mhellach, y mae'n eu gwneuthur yn anystyriol o'u blaenoriaid a'u brenhinoedd, ac yn dwyn ymaith gof am gyfeillion a pherthynasau: y mae'n arfogi dynion yn erbyn y rhai anwylaf ganddynt, ac yn eu gwneud i ymddangos fel dieithriaid iddynt. A phan sobreiddiont, wedi cysgu ymaith eu meddwdod yn y nos, hwy a gyfodant heb wybod am ddim a wnaethant gyd â'u cwppanau. Yr wyf yn cymmeryd y rhai hyn yn arwyddion o rym neu nerth gwin, ac yn fwyaf nerthol ac anorchfygol o bob peth."

Mor fuan ag y darfyddodd y cyntaf ddatgan ei feddyliau am nerth neu effaith gwin; y nesaf atto a ddechreuodd ddywedyd am nerth a chadernid brenin; gan dystio mai efe oedd gryfaf o bawb, ac yn alluoccach na dim arall, ag sy'n ymddangos â dim grym doethineb. "Dynion ydynt," eb efe, "sydd yn ben ar bob peth; y maent yn gwneuthur i'r ddaear a'r môr fod yn wasanaethgar iddynt, yn yr hyn y maent yn ei chwennych; ac ar drigolion y rhai hyn y mae brenhinoedd yn llywodraethu, a throstynt hwy y mae eu hawdurdod. Y rhai sydd yn llywodraethu ar y creadur hwnnw ag a elwir o bob rhai yn gryfaf, ac yn fwyaf nerthol, a gyfrifir o angenrheidrwydd yn anorchfygol mewn gallu a grymmusder. Er siampl, pan orchymmyno brenhinoedd i'w deiliaid fyned i ryfel, a than beryglon, fe wrandewir arnynt; a phan anfonant hwy yn erbyn eu gelynion, eu hawdurdod sydd mor fawr a'u bod yn ufuddhau iddo. Gorchymmynant i ddynion wasttattâu bryniau, a thynnu i lawr gaerau a thyrau uchel: ïe, pan orchymmynont iddynt ladd eraill, neu gael eu lladd eu hunain, y maent yn ymostwng iddo; fel nad ymddangosont yn troseddu gorchymmyn y brenin. Ac wedi iddynt fuddugoliaethu, hwy a ddygant yr hyn a ynnillasant yn y rhyfel i'r brenin. Y rhai hynny hefyd a'r nad ydynt filwyr, ond llafurwyr tiroedd; yn ol iddynt oddef llafur, a holl anghyf-

leusderau y swydd o hwsmonaeth; ac wedi medi a chasglu i mewn eu ffrwythau, y maent yn talu teyrnged i'r brenin. A pha beth bynnag yw'r hyn a ddywedo neu a orchymmyno brenin, y mae yn cael ei wneuthur o angenrheidrwydd, ac yn ddioed. Tra mae efe yn y cyfamser yn mwynhau llawnder o ddanteithion a phleserau, ac yn huno mewn tawelwch. Efe a wylir gan y rhai sydd yn ei warchod; a'r fath ag sydd, fel pe b'ai wedi eu rhwymo wrth y lle trwy ofn. Canys ni feiddia neb ei adael, ïe, pan fyddo yn cysgu: ac nid yw neb yn ymado ymaith i gymmeryd gofal am ei achosion ei hun; ond y mae yn cyfrif hwn yn unig waith angenrheidiol, sef i wylio'r brenin; ac yn ganlynol y mae yn glynu wrth hyn yn hollol. Pa fodd gan hynny y gall fod yn amgen, nad yw nerth neu gryfdwr brenhinoedd yn rhagori ar bawb, pan y mae lliaws mor fawr yn ufuddhau i'w orchymmynion."

Yn awr, wedi distewi o'r gwr hwn, y trydydd o honynt, yr hwn ydoedd Zorobabel, a ddechreuodd lefaru ymherthynas i wragedd, ac i wirionedd. "Gwin," eb efe, "sydd gadarn, megis y mae brenin hefyd, yr hwn y mae pob dynion yn ufuddhau iddo; ond merched ydynt uwchlaw iddynt mewn blaenoriaeth: canys gwraig a ddug frenin i'r byd; a'r rhai a blannant winwydd, ac a wnant y gwin; gwragedd neu ferched yw y rhai a'u coleddant ac a'u dygant i fynu. Ac nid oes yn wir unrhyw beth gennym ni na dderbyniwn oddi wrthynt. Canys merched sydd yn gwau gwisgoedd i ni; a'n hachosion teuluaidd trwyddynt hwy a ofalir am danynt, ac a'u diogelir. Ac nis gallwn fyw yn wahaniaethol oddiwrth ferched. Pan fyddo gennym lawer o aur ac arian, neu unrhyw beth arall o fawr werth, a chan fod merch o fawr degwch, nyni a adawn yr holl bethau hyn, a chyd â genau agored a sefydlwn ein golwg ar ei hwynebpryd; ac ydym barod i adael yr hyn a feddwn fel y mwynhaom ei thegwch, ac ei henniller i ni ein hunain. Yr ydym hefyd yn gadael tad a mam, a'r ddaear sydd yn ein meithrin ni, ac yn fynych yn anghofio ein cyfeillion anwylaf, oblegid merched neu wragedd. Nag ê, yr ydym mor ëofn a gosod i lawr ein bywydau trostynt. Ond y peth a wna yn bennaf i ni sylwi ar gryfdwr merched yw yr hyn a ganlyn: onid ydym yn cymmeryd llawer o boen, a hynny ar dir a môr; ac wedi i ni ynnill rhyw beth fel ffrwyth ein llafur, oni ddygwn hynny i'r gwragedd megis ein pen-cariadau, gan eu hanrhegu â hwynt. Nag ê, darfu i mi unwaith weled brenin, yr hwn sy'n arglwydd ar lawer o bobl, yn cael ei daro ar ei wyneb gan Aspame, merch Rabsases Themasius, ei ordderchwraig, a'i goronbleth yn cael ei chymmeryd oddi arno, a'i dodi ar ei phen ei hun, tra'r ydoedd yn goddef hynny yn amyneddgar: a phan wenai hi, yr ydoedd yntau yn gwenu; a phan ddigiai, yntau ydoedd yn athrist: ac yn ol cyfnewidiadau ei thymherau, efe a wenhieithiai iddi, ac a'i hynnillai i ymgymmodi trwy ei fawr ddarostwng ei hun, os un amser y gwelai hi yn anfoddlon."

Ac wedi i'r tywysogion a'r llywodraethwyr y naill edrych ar y llall, Zorobabel a ddechreuodd lefaru ynghylch gwirionedd, ac a ddywedodd, "Mi a ddangosais yn barod am allu ac awdurdod merched, mor fawr ydyw: ond hwynthwy, ynghyd â brenin, ydynt wannach na gwirionedd. Canys er bod y ddaear yn ehang, a'r nefoedd yn uchel, a chylchyniad yr haul yn gyflym, etto yr holl bethau hyn a gynhyrfir yn ol ewyllys Duw, yr hwn sydd wir a chyfiawn. Am ba achos y dylem hefyd gyfrif gwirionedd yn gadarnaf o bob peth; ac nad yw yr hyn sydd anghyfiawn o ddim nerth yn ei erbyn. Yn awr, holl bethau amserol ag sydd â nerth a chadernid ydynt anfarwol, ac o fyrr barhad; ond gwirionedd sydd beth anfarwol a thragywyddol. Ni ddengys yn wir i ni y fath brydferthwch ag a ddiflanna gyd ag amser, na'r fath drysor ag a ddygir ymaith trwy anhap; ond rheolau a chyfreithiau cyfiawn. Mae'n eu gwahaniaethu oddi wrth anghyfiawnder, ac yn dodi'r hyn sydd anghyfiawn tan gerydd." *

* Y mae'r darllennydd i nodi, mai er bod areithiau neu bapurau y tri hyn o warcheidwaid y brenin, yn dra thebyg i'r hyn a geir yn rhrydydd llyfr Esdras, pen, iii. a'r iv, i'r peth ydyw yn Josephus; etto y dygiad o honynt i mewn sydd yn gwbl wahaniaethol. Pan yn Esdras y mae'r cyfan yn cael ei adrodd megis wedi ei luniaethu gan dri gwyliedydd y brenin, a'r areithiau a ddywedir iddynt gael eu traddodi i'r brenin

Felly wedi i Zorobabel ddodi heibio ymadroddi ynghylch gwirionedd, a'r lliaws yn llefain allan yn uchel mai efe a areithiodd ddoethaf, ac mai'r gwir yn unig oedd â chadernid anghyfnewidiol ynddo, a'r fath na heneiddiai byth; gorchymmynodd y brenin fod iddo ofyn rhyw beth tros ac uwchlaw yr hyn a addawsai efe, oblegid y caniattëid iddo, ar gyfrif ei ddoethineb, a'r pwyll trwy'r hwn y rhagorodd ar eraill. "A thi a eisteddi gyd â mi," ebe'r brenin, "a gelwir di yn gâr agos i mi." Pan fynegodd y brenin hyn, Zorobabel a goffäodd iddo yr adduned a wnaethai, os mewn un modd y deuai i feddiannu y deyrnas. Yn awr, yr adduned hon ydoedd ail-adeiladu Jerusalem, ac adeiladu teml Dduw ynddi: megis hefyd i adferyd y llestri a yspeiliasai Nebuchodonosor o'r deml, ac a'u dygasai i Babilon. "A hyn," eb efe, "yw y gofyniad hwnnw a ganiattëi i mi yn awr ei wneuthur, ar gyfrif i mi gael fy marnu yn ddoeth, ac yn berchen dealltwriaeth."

Felly y brenin a foddhawyd â'r hyn a ddywedodd, ac a gyfododd ac a'i cusanodd ef; ac a ysgrifennodd at y rhaglawiaid a'r llywodraethwyr; gan erchi iddynt gynnorthwyo Zorobabel, a'r rhai oedd yn myned gyd âg ef, i adeiladu y deml. Efe hefyd a ddanfonodd lythyrau at y llywodraethwyr hynny ag oedd yn Syria a Phœnicia, i dorri i lawr a chludo coed cedrwydd o Lebanon i Jerusalem, a'i gynnorthwyo ef yn adeiladaeth y ddinas. Efe hefyd a ysgrifennodd attynt, am i'r holl gaethion a chwennychent fyned i Judea gael eu rhyddhau: ac efe a waharddodd i'r dirprwywyr a'r llywodraethwyr i osod dim trethi brenhinol ar yr Iuddewon. Efe hefyd a ganiattaodd iddynt feddiannu yr holl diroedd hynny a allent gael, yn ddi-deyrnged. Ar yr un pryd efe a orchymmynodd i'r Idumeaid a'r Samariaid, a thrigolion Cœlesyria, i adferyd y pentrefi a gymmerasent oddi ar yr Iuddewon; ac heblaw hyn oll, deg talent a deugain a roddid iddynt tu ag at adeiladaeth y deml. Efe hefyd a ganiattaodd iddynt offrymmu eu haberthau; gan addaw pa beth bynnag a fyddai yn ddiffygiol ar yr archoffeiriad a'r offeiriaid, megis y gwisgoedd cyssegredig ym mha rai yr arferent addoli Duw, am eu gwneud iddynt ar ei draul ef; a bod i'r offerynnau cerdd a arferai y Lefiaid wrth ganu mawl i Dduw, gael eu pwrcasu iddynt. Ymhellach, efe a orchymmynodd iddynt, fod cyfran o dir yn cael ei drefnu i'r rhai oedd yn gwylio'r ddinas, a'r deml; ac hefyd swm appwyntiedig o arian bob blwyddyn at eu cynnaliaeth; a chyd â'r cwbl efe a ddanfonodd lestri'r deml. A'r hyn oll a fwriadasai Cyrus ei wneud o'i flaen ef ymherthynas i adferiad Jerusalem, Darius a orchymmynodd ei wneuthur yn ganlynol.

Wedi i Zorobabel feddiannu y caniattad yma gan y brenin, efe a aeth allan o'r llys; a chan edrych tu a'r nefoedd, efe a ddechreuodd ddiolch i Dduw am y doethineb a roddasai iddo, a'r fuddugoliaeth a gawsai trwy hynny, ïe yngolwg Darius ei hun: "Canys," eb efe, "nid ystyriasid fi yn deilwng o'r manteision hyn, O Arglwydd, pe buasit ti heb fod yn ffafrol i mi." Gan hynny, yn ol iddo ddychwelyd diolch i Dduw, am yr amgylchiad presennol yr oedd ynddo, a gweddio am ganiattau o hono iddo y cyffelyb ffafr yn yr amser a ddeuai; efe a aeth i Babilon; ac a ddygodd y newyddion da i'w gydwladwyr o'r caniattad a gawsai iddynt gan y brenin. Pan glywsant hyn, hwythau hefyd a ddiolchasant i Dduw am adferyd tir eu tadau iddynt drachefn. Felly hwy a gyd-wleddasant, ac am saith niwrnod a gadwasant ŵyl, ar gyfrif yr ail-adeilad a'r adferiad o'u dinas. Ar ol hyn hwy a ddewisasant iddynt eu hunain flaenoriaid, y rhai a elent i Jerusalem, allan o lwythau eu tadau, gyd â'u gwragedd, a'u plant, a'u hanifeiliaid; gan ymdaith tu a Jerusalem gyd a hyfrydwch mawr, tan dywysiad y rhai a anfonasai

yn ysgrifenedig; tra y mae'r cwbl yn wrthwyneb yn Josephus. Nid rhaid im' ddywedyd pa ryw adroddiad sydd fwyaf tebygol. Y matterion a lefarant trostynt eu hunain; ac nid oes ammeu nad hanesiad Josephus sydd i'w gyfrif ym mhell o flaen eraill. Ac nid yw yn wir yn ymddangos i mi yn annhebyg nad oedd y cyfan o ddyfais y brenin Darius, mewn trefn i ddodi ar gof iddo, yn ddidramgwydd gan Zorobabel, am gyflawni ei hen adduned o ail-adeiladu Jerusalem, a'r deml, ac o adferyd addoliad yr UNIG WIR DDUW yno. Ac nid yw cyflawn ystyr ymadrodd Zorobabel, pan lefodd allan, 3 Esdr. iv. 40. "Gwirionedd sydd fawr, ac uwchlaw pob peth," yn ymddangos i mi yn gwahaniaethu oddiwrth hyn, Nid oes ond UN GWIR DDUW, sef Duw Israel. I ba athrawiaeth, y cyfryw rai a Cyrus a Darius, &c., cefnogwyr mawr yr Iuddewon, nid ymddangosasant yn wrthwynebol, er fod hollol eilun-addoliaeth eu teyrnas yn gwneud iddynt ei gadw yn guddïedig.

Darius gyd a hwynt: a hwy a wnaethant sain orfoleddus â chaniadau, pibellau, a symbalau; a gweddill tyrfa 'r Hebreaid yn eu dilyn hwynt gyd â llawenydd

A'r modd hwn yr aeth y dynion yma, ryw nifer benderfynol allan o bob teulu tu a Jerusalem: er nad wyf yn gweled yn gymmwys adrodd yn neillduol enwau y teuluoedd * hynny; fel na thynnwyf ymaith feddyliau fy narllenyddion oddiwrth gyssylltiad y gweithrediadau historïaol, a pheri anhawsdra iddynt i ddilyn traethiad fy hanesion. Ond swm y rhai a aethant i fynu, uwchlaw deuddeng mlwydd o oedran, o lwythau Judah a Benjamin, ydoedd † bedwar cant a dwy a thrugain o fyrddiwnau, ac wyth mil. Y Lefiaid oeddynt bedwar ar ddeg a thrugain; nifer gwragedd a phlant yn gymmysgedig, ydoedd ddeugain mil saith gant a dau a deugain. Ac heblaw y rhai hyn yr ydoedd cantorion o'r Lefiaid, un cant ac wyth ar hugain; porthorion, un cant a deg; ac o'r gweinidogion cyssegredig, tri chant a deuddeg a phedwar ugain. Yr ydoedd hefyd eraill a ddywedent eu bod o'r Israeliaid, ond heb allu dangos eu hachau, chwe chant a dau a thrugain. Rhai hefyd a fwriwyd allan o nifer ac anrhydedd offeiriaid, megis eu bod wedi priodi gwragedd, achau pa rai ni fedrent ddangos, ac ni chafwyd hwynt yn achau y Lefiaid a'r offeiriaid; eu nifer ydoedd ynghylch pum cant a phump ar hugain. Y lliaws hefyd o wasanaeth-ddynion a ddilynasant y rhai a aethant i fynu i Jerusalem, oeddynt saith mil a thri chant a dau ar bymtheg ar hugain. Y cantorion o feibion a merched ydoedd ddau cant a phump a deugain. Y camelod oeddynt bedwar cant a phymtheg ar hugain; yr anifeiliaid a arferid i'r iau oeddynt bum mil, pum cant, a phump ar hugain. A llywodraethwyr yr holl liaws fel hyn a gyfrifwyd oedd Zorobabel, fab Salathiel, o hiliogaeth Dafydd, ac o lwyth Judah; a Jeshua, fab Josedec, yr archoffeiriad. Ac heblaw y rhai hyn yr ydoedd Mordecai a Serebeus, y rhai a wahaniaethid oddiwrth y lliaws, ac oeddynt lywodraethwyr arnynt; y rhai hefyd a roddasant gan pwys o aur, a phum mil o arian, at addurniadau y deml. Trwy 'r moddion yma gan hynny yr offeiriaid a'r Lefiaid, a rhan bendant o bobl yr Iuddewon ag ydoedd yn Babilon a ddaethant ac a drigasant yn Jerusalem: ond eraill o'r lliaws a ddychwelasant i'w gwledydd eu hunain.

## PENNOD IV.

*Am ail-adeiladaeth y Deml; ac ymdrech dieffaith y Cutheaid i luddias y gwaith ym mlaen.*

YN y seithfed mis ar ol eu hymadawiad o Babilon, Jeshua yr archoffeiriad, a Zorobabel y llywodraethwr, a anfonasant gennadau trwy'r holl ardaloedd, i gasglu pennaethiaid o'r wlad ynghyd i Jerusalem.‡ Yna hwy a adeiladasant yr allor, ar y lle yr ydoedd gynt yn sefyll; fel yr offrymment yr aberthau appwyntiedig arno i Dduw, yn unol â chyfreithiau Moses. Ond tra'r oeddynt yn gwneuthur hyn, ni foddhasant y cenhedloedd cymmydogaethol, y rhai a sylwient arnynt gyd â chynfigen a drwg ewyllys. Hwynt-hwy hefyd a gadwasant ŵyl y pebyll y pryd hynny, megis yr ordeiniasai y deddfwr; ac ar ol hynny hwy a offrymmasant aberthau, a'r hyn a elwid yr aberth beunyddiol, a'r offrymmau priodol i'r Sabboth, ac i'r holl ŵyliau cyssegredig. Y rhai hefyd a wnaethant addunedau a'u cyflawnasant, ac a offrymmasant eu haberthau, o'r dydd cyntaf o'r seithfed mis. Hwy hefyd a ddechreuasant adeiladu'r deml, gan roddi swm mawr o arian i'r crefftwyr, sef y seiri meini a choed, a'r hyn oedd angenrhaid at gynnaliaeth y gweithwyr. Y Sidoniaid hefyd oeddynt dra ewyllysgar i ddwyn coed cedrwydd o Libanus,

* Gwel Ezra ii. 1---70. Nehemiah viii. 6---7.

† Y rhifedi hwn o 462,8000 ynghopiau presennol Josephus, ydyw un o'r cyfeiliornadau mwyaf o'u mewn, ac a ddylid eu diwygio o Ezra ii. 64. 1 Esd. v. 40. a Neh. vii. 66. y rhai a gyttunant oll i fod swm y cwbl ynghylch 42,360. Y mae hefyd yn dra amlwg, fod Josephus yn meddwl, pan ddygodd Esdras liaws i fynu yn ol hynny o Babilon a Persia, yn nyddiau Xerxes, eu bod hwy hefyd o'r ddau lwyth, ac o honynt hwy yn unig; ac nid oeddynt oll ychwaneg na hâd a gweddill; tra'r oedd nifer aneirif o'r deg llwyth fyth heb ddychwelyd; ond, fel yr oedd efe yn credu, yn parhau y tu hwnt i Euphrates, pen. 5. Am ba liaws o Iuddewon y tu hwnt i Euphrates, y mae yn llefaru yn fynych mewn mannau eraill; er nad yw fyth yn eu cymmeryd yn eilunaddolwyr, ond yn edrych arnynt megis dilynwyr cyfreithiau Moses. Y bobl bennodol a ddaethant i fynu yn awr o Babilon, crybwylledig yn niwedd y bennod hon, sy'n arwyddo yr unrhyw nifer leiaf o Iuddewon a ddaethant yn awr i fynu; yr hyn ni chyttuna mewn un modd â'r 462,8000.

‡ Ezra iii. 1.

gan eu cyd-rwymo,a gwneuthur cludair nofiedig o honynt, i'w dwyn i borthladd Joppa. Canys hynny a orchymmynasai Cyrus ar y cyntaf, a'r hyn a wnaed yn awr wrth orchymmyn Darius.

Yn yr ail flwyddyn* o'n dyfodiad i Jerusalem, fel ag yr oedd yr Iuddewon yno, yn yr ail mis, adeiladaeth y deml a ddygwyd ym mlaen gyd â phrysurdeb; a phan osodasant y sylfeini y dydd cyntaf o'r ail mis, y flwyddyn honno, hwy a osodasant yn olygwyr y gwaith, y cyfryw Lefiaid ag oedd yn llawn ugain mlwydd o oedran; a Jeshua, ei feibion, a'i frodyr; a Cadmiel, brawd Judas, fab Aminadab, a'i feibion: ac o herwydd diwydrwydd mawr y rhai oedd a'r gofal arnynt, y deml a orphenwyd yn gynt nag a fuasai neb yn ei ddisgwyl. Yna'r offeiriaid, wedi eu haddurno â'u gwisgoedd arferedig, a safasant gyd â'u hudgyrn; tra 'r oedd y Lefiaid, a meibion Asaph yn sefyll, gan ganu hymnau o fawl i Dduw, megis yr ordeiniasai Dafydd ar y cyntaf. Yn awr, yr offeiriaid a'r Lefiaid, a henafgwyr teuluoedd, wrth adgoffa pa mor gymmaint mewn helaethrwydd a harddwch yr oedd yr hên deml yn rhagori ar yr un newydd, hwy a ystyriasant ynddynt eu hunain pa mor fawr yr oedd dedwyddwch eu hamgylchiad wedi suddo islaw yr hyn a fuasai gynt, yn gyffelyb i'w teml. Oblegid hyn yr oeddynt yn athrist, ac a aethant ymlaen mor bell ag i wylo a thywallt dagrau ar y cyfrif hyn. Ond y bobl yn gyffredinol oeddynt yn boddloni i'w cyflwr presennol; ac o herwydd caniattau iddynt adeiladu teml, nid oeddynt yn dymuno yn rhagor; ni feddyliasant, ac ni flinasant eu hunain â chydmariaeth y deml honno â'r un flaenorol, fel pe buasai hyn islaw eu disgwyliad. Ond galar yr hen bobl a'r offeiriaid ar gyfrif amherffeithrwydd y deml hon, wrth ei chydmaru â'r un a ddifrodwyd, a aeth yn drech na sain yr udgyrn, a gorfoledd y bobl.†

Pan glybu y Samariaid, y rhai oeddynt etto yn elynion i lwyth Judah a Benjamin, sŵn yr udgyrn, hwy a redasant ynghyd, gan ddymuno gwybod beth oedd yr achos o'r terfysg hwn? a phan wybuant mai oddiwrth yr Iuddewon yr ydoedd, y rhai a ddygasid yn gaethion i Babilon, a'u bod yn ail-adeiladu eu teml; hwy a ddaethant at Zorobabel a Jeshua, ac at bennau y teuluoedd, ac a ddymunasant gennad ganddynt i'w cynnorthwyo yn adeilad y deml. "Canys," ebe hwy, "yr ydym ni yn addoli eich Duw chwi, ac yn enwedig yn gweddio arno; gan ewyllysio cael yr un sefydliad grefyddol; a hynny o hyd er pan symmudodd Shalmanezer ni allan o Cuthah a Media i'r lle hwn."‡ Wedi iddynt lefaru hyn, Zorobabel a Jeshua yr archoffeiriad, a phennau-teuluoedd yr Israeliaid a attebasant, Ei fod yn amhossibl caniattâu iddynt gydgyfrannogi â hwynt yn y gorchwyl; gan mai hwy yn unig eu hunain a appwyntiasid gyntaf gan Cyrus, ac yn awr gan Darius i adeiladu y deml:§ er yn wir fod yn gyfreithlon iddynt hwy ddyfod i addoli yno, os gwelent yn oreu; ac na allent ganiattau ond hynny iddynt yn gyffredin gyd â hwy.

Wedi i'r Cutheaid ‖ glywed hyn, yr oeddynt yn ddig o'i blegid, ac a berswadiasant genedlaethau Syria i ddeisyfu ar y llywodraethwyr, yn yr un ddull ag y gwnaethant o'r blaen yn nyddiau Cyrus, ac yn amser Cambyses yn ol hynny, i roddi attalfa ar adeiladaeth y deml; ac ymdrechu i oedi a gohirio'r Iuddewon yn eu hawch a'u hawyddfryd ymherthynas iddo. Yn awr, y pryd hyn Sisinnes, llywodraethwr Syria a Phœnicia, a Sathrabuzanes, gyd â rhai eraill, a ddaethant i fynu i Jerusalem; ac a ofynasant i lywodraethwyr yr Iuddewon, Trwy ganiattâd pwy yr oeddynt yn adeiladu y deml yn y drefn hynny? gan ei bod yn debyccach i dŵr neu amddiffynfa rhyfel, nag i deml? ac i ba reswm yr oeddynt yn gwneuthur manachlogydd, a chaerau, a'r rhai hynny hefyd yn gedyrn o amgylch y ddinas? Zorobabel, a Jeshua yr archoffeiriad, a attebasant, Mai gweision y Duw Hollallnog oeddynt hwy; a bod y deml hon yn cael ei hadeiladu iddo ef gan frenin ag oedd yn byw mewn mawr lwyddiant, ac un ag oedd yn rhagori ar bob dynion mewn rhinwedd; ddarfod i'r deml gynt sefyll i fynu tros rai oesoedd; ond mai o herwydd annuwioldeb eu hynafiaid, Nebuchodonosor, bre-

* Bl. 519. † Ezra iii. 13. ‡ Ezra iv. 1, 2. § Ezra iv. 3. ‖ Samariaid.

nin y Babiloniaid a'r Caldeaid, a gymmerasai eu dinas trwy drais, ac a'i difrododd hi; gan yspeilio'r deml, a'i llosgi i lawr; a symmud y bobl a gymmerasai yn gaethion i Babilon: ddarfod i Cyrus, yr hwn wedi ei amser ef, ydoedd frenin Babilonia a Persia, ysgrifennu attynt hwy am adeiladu'r deml; gan orchymmyn y rhoddion a'r llestri, a pha beth bynnag a ddygasai Nebuchodonosor allan o honi i ofal Zorobabel a Mithridates y trysorwr; gan roddi gorchymmyn i'w dwyn hwynt i Jerusalam, a'u hadferyd i'w teml eu hunain, ar ol ei hadeiladu. Canys efe a anfonasai attynt am wneuthur hynny ar fyrder, ac a orchymmynodd i Senabassar fyned i fynu i gymmeryd gofal adeiladaeth y deml; yr hwn wedi derbyn yr epistol hynny oddiwrth Cyrus, a ddaeth yn ddioed, ac a osododd ei sylfeini. "Ac er ei bod yn cael ei hadeiladu o'r pryd hwnnw hyd yn bresennol," ebe hwy, "ni chafodd etto ei gorphen oblegid malais ein gelynion. Os ydych gan hynny yn ei farnu yn gymmwys, ysgrifennwch yr hanes yma at Darius; fel pan gydmaro hyn â choffadwriaethau y brenhinoedd, y gwelo efe na ddywedasom i chwi ddim ag sydd yn dwyllodrus ynghylch y matter hwn."

Wedi i Zorobabel a'r archoffeiriad wneud yr attebiad hwn, Sisinnes a'r rhai oedd gyd ag ef, ni ymroisant i luddias ym mlaen yr adeiladaeth, hyd oni hyspysent y brenin Darius am hyn oll. Felly hwy a 'sgrifennasant yn union-gyrch ymherthynas i'r matterion hyn, tra'r ydoedd yr Iuddewon tan ddychryn ac ofn rhag i'r brenin gyfnewid ei fwriadau am adeiladaeth Jerusalem a'r deml. Yr ydoedd, pa fodd bynnag, ddau brophwyd yr amser hwnnw yn eu mysg, Haggai a Zachariah, y rhai oedd yn eu cefnogi, ac yn peri iddynt fod yn gyssurus, a pheidio ag ofni dim gwrthwynebiad oddiwrth y Persiaid, am fod Duw wedi dywedyd hynny wrthynt. Felly mewn hyder ar yr hyn a ddywedodd y prophwydi yma, hwy a ymosodasant eu hunain o ddifrif at y gwaith, ac ni orphwysasant un diwrnod.

Yn awr y Samariaid, yn eu hepistol at Darius, a gyhuddasant yr Iuddewon o wneuthur amddiffynfeydd o amgylch y ddinas, ac adeiladu y deml yn debyccach i gastell nag i deml; gan ddywedyd nad oedd eu gwaith yn addas i achosion y brenin: ac heblaw hynny, hwy a ddangosasant iddo epistol Cambyses, ym mha un y gwaharddodd iddynt adeiladu y deml. Darius, gan hynny, pan ddeallodd nad oedd adferiad Jerusalem yn fanteisiol i'w achosion ef, a phan ddarllenodd yr epistol a ddygasid atto oddiwrth Sisinnes, a'r rhai oedd gyd ag ef, a roddes orchymmyn fod i'r hyn a berthynai i'r matterion yma gael eu chwilio allan ym mhlith y coffadwriaethau brenhinol. Yn ganlynol, cafwyd llyfr yn Echbatana, yn y twr oedd ym Media, ym mha un y cafwyd yn ysgrifenedig fel y canlyn: "Cyrus y brenin, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, a orchymmynodd fod i'r deml gael ei hadeiladu yn Jerusalem, a'r allor, mewn uchder yn drugain cufydd, a'i helaethder yr un; yn dair adeilad o gerrig nadd, ac un wedi ei gwneud o feini eu gwlad eu hunain; ac efe a orchymmynodd fod i'r draul gael ei gwneuthur i fynu o drysorfa'r brenin. Efe hefyd a orchymmynodd fod i'r llestri a ddygasai Nebuchodonosor o'r deml, ac a'u cymmerasai i Babilon, gael eu hadferyd i bobl Jerusalem; a bod i ofal y pethau hyn berthynu i Senabassar y llywodraethwr, a rhaglaw Syria a Phœnicia, ac i'w gymdeithion; fel na byddo iddynt gyffwrdd â'r lle hwnnw: ond caniattâu i weision Duw, yr Iuddewon, a'u llywodraethwyr i adeiladu'r deml. Efe hefyd a ordeiniodd fod iddynt eu cynnorthwyo yn y gwaith, a thalu i'r Iuddewon allan o deyrnged y wlad yr oeddynt yn llywodraethu arni, ar gyfer yr aberthau, megis bustych, wyn, hyrddod, a mynnod geifr, ynghyd â pheilliad, olew, a gwin; a'r holl bethau eraill a ddywedid am danynt gan yr offeiriaid; a bod iddynt hwy weddio tros gadwedigaeth y brenin a'r Persiaid: ac am y rhai a droseddent yn erbyn unrhyw o'r deddfau hyn a anfonir iddynt, efe a orchymmynodd eu crogi hwynt ar groes, a'u heiddo i gael eu defnyddio at achosion y brenin. Efe hefyd a weddiodd at Dduw yn eu herbyn, os byddai neb a rwystrai adeiladu y deml, am ei daraw yn farw gan Dduw, a thrwy hynny rhagflaenu gweithrediad ei ddrygioni."

Wedi i Darius gael y llyfr hwn ym mysg coffadwriaethau Cyrus, efe a ysgrifennodd yr atteb canlynol at Sisinnes a'i gymdeithion:—

"Y Brenin Darius, at Sisinnes y llywodraethwr, ac at Sathrabuzanes, yn anfon annerch. Wedi cael copi o'r epistol hwn ym mysg coffadwriaethau Cyrus, mi a'i hanfonais i chwi: a fy ewyllys yw i bob peth gael ei gyflawni megis y mae'n ysgrifennedig ynddo. Byddwch wŷch."

Felly pan ddeallodd Sisinnes, a'r rhai oedd gyd ag ef, fwriadau y brenin, hwy a ymroisant i ddilyn ei hyfforddiadau tros yr amser i ddyfod. Felly hwy a gynnorthwyasant ym mlaen y gwaith cyssegredig, gan gyd-uno â henuriaid yr Iuddewon, a thywysogion y Sanhedrim: ac adeiladaeth y deml, gyd â diwydrwydd mawr, a ddygwyd i orpheniad, yn ol prophwydoliaethau Haggai a Zachariah, a gorchymmyn Duw; ac wrth archiadau Cyrus a Darius,* y brenhinoedd. Yn awr, y deml a adeiladwyd o fewn † saith mlynedd o amser. Ac yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Darius, ar y trydydd dydd ar hugain o'r deuddegfed mis, yr hwn a elwir gennym ni Adar, ond gan y Macedoniaid Distrus; yr offeiriaid a'r Lefiaid, a lliaws yr Israeliaid, a offrymmasant aberthau, megis adfywiad o'u rhagorfraint blaenorol yn ol eu caethiwed, ac oblegid ail-adeiladu y deml: cant o deirw neu fustych; dau cant o hyrddod neu feheryn; pedwar cant o ŵyn, a deuddeg o fynnod geifr, yn ol rhifedi eu llwythau: ‡ (canys cynnifer yw llwythau yr Israeliaid;) a'r rhai diweddaf hyn tros bechod pob llwyth. Yr offeiriaid hefyd a'r Lefiaid a osodasant wylwyr wrth bob porth, yn ol cyfreithiau Moses. A'r Iuddewon a adeiladasant 'stafelloedd y deml dufewnol, ac ydoedd hefyd o amgylch yr holl deml.

Ac megis yr oedd gŵyl y bara croyw ger llaw, yn y mis cyntaf, yr hwn yn ol y Macedoniaid a elwir Xanthicus, ond gennym ni Nisan; yr holl bobl a ymgasglasant ynghyd o'r pentrefi i'r ddinas i gynnal yr ŵyl; wedi puro eu hunain, gyd â'u gwragedd a'u plant, yn ol cyfraith eu gwlad: a hwy a offrymmasant yr aberth a elwid y Pasg, ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r un mis; gan wledda saith niwrnod, heb arbed dim côst; ond a offrymmasant boeth-offrymmau cyfain i Dduw, ynghŷd ag aberthau o ddiolchgarwch, o herwydd i Dduw roddi iddynt drachefn dir eu tadau, a'r cyfreithiau perthynol i'r unrhyw; a pheri i feddyliau brenin Persia fod yn ffafrol tu ag attynt. Felly y gwŷr hyn a offrymmasant yr aberthau helaethaf ar y cyfrif hwn; ac a arferasant bethau ardderchog yngwasanaeth Duw, ac a drigasant yn Jerusalem; ac a wnaethant ddefnydd o ffurf o lywodraeth bendefigaidd. Yr archoffeiriaid oeddynt wrth ben eu hachosion, nes i hiliogaeth yr Asmoneaid osod i fynu lywodraeth frenhinol. Canys o flaen eu caethiwed, a diddymiad eu llywodraeth wladol, yr oedd ganddynt yn gyntaf lywodraeth frenhinol oddiwrth Saul a Dafydd, a barhaodd tros bum cant a deuddeg ar hugain o flynyddau, chwe mis, a deg o ddiwrnodiau. Ond o flaen y brenhinoedd, y cyfryw a bennaethasant arnynt a elwid yn farnwyr ac amddiffynwyr. Tan y ffurf hynny o lywodraeth hwy a barhasant tros fwy na phum can mlynedd yn ol marwolaeth Moses a Joshua eu prif-flaenor milwraidd. A dyma'r cyfrif oedd gennyf i'w roddi o'r Iuddewon y rhai a ddygasid i gaethiwed, ond a waredwyd o hono yn amser Cyrus a Darius.

Ond § â'r Samariaid yn dra chenfigennus tu ag at yr Iuddewon, a wnaethant yr holl ddrygau iddynt ag a fedrent, trwy hyderu ar eu cyfoeth, a'u honiad o berthynas â'r Persiaid. A pha beth bynnag oedd yr hyn a orchymmynid iddynt dalu i'r Iuddewon gan y brenin, ni wnaethant y cyfryw daliadau o'u teyrnged, tu ag at yr aberthau. Yr oedd ganddynt hefyd y llywodraethwyr yn ffafrol, ac yn eu cynnorthwyo i'r diben hynny. Ac ni arbedasant eu niweidio, trwyddynt eu hunain, neu eraill, cyn belled ag y gallasant. Felly yr Iuddewon a benderfynasant anfon cennadwri at y brenin Darius, er amddiffyniad pobl Jerusalem; ac mewn trefn i gyhuddo'r Samariaid. Y cennad-

* Ezra vi. 14. † O'r Fl. 519 hyd y Fl. 512, C. C.
‡ Ezra vi. 17.

§ D. S. Y rhan yma o'r hanes sy'n eisiau yn hollol yn ein copiau eraill o Ezra ac Esdras.

wyr ydoedd Zorobabel, a phedwar eraill o'r pennaethiaid. A phan gyntaf y gwybu'r brenin gan y cennadwyr y cyhuddiadau a ddygasant yn erbyn y Samariaid, efe a roddodd iddynt epistol i'w ddwyn at lywodraethwyr a chynghoriaid Samaria. Cynnwysiad yr epistol ydoedd y pethau hyn:—

"Y Brenin Darius at Tanganas a Sambabas, llywodraethwyr y Samariaid; at Sadraces a Bobelo, a'r rhan arall o'u cydwasanaethwyr, y rhai ydynt yn Samaria: Zorobabel, Ananias a Mordecai, cennadwyr yr Iuddewon, ydynt yn achwyn arnoch, eich bod yn rhwystrwyr iddynt yn adeiladaeth y deml, ac nad ydych yn eu diwallu â'r costau a orchymmynais i chwi tu ag at offrymiad eu haberthau. Fy ewyllys gan hynny ydyw, ar ddarlleniad yr epistol hwn, i chwi eu diwallu â pha beth bynnag y maent yn sefyll mewn diffyg o hono tu ag at eu haberthau; a hynny allan o drysorfa frenhinol teyrnged Samaria, fel ag y byddo'r offeiriad yn ewyllysio: fel na adawont heibio offrymmu eu beunyddiol aberth, na gweddio ar Dduw troswyf fi, a'r Persiaid."

## PENNOD V.

*Am achosion yr Iuddewon tan Xerxes mab Darius; hefyd ymherthynas i Esdras a Nehemiah.*

AR farwolaeth Darius, disgynnodd y llywodraeth i'w fab Xerxes, yr hwn megis ag yr etifeddodd deyrnas ei dad, felly hefyd yr etifeddodd ei rinweddau, ynghyd â'i sêl tu ag at Dduw, a'i anrhydedd. Canys efe a wnaeth bob peth yn ol ewyllys ei dad, perthynol i'r dwyfol addoliad; ac ydoedd yn dra charedig i'r Iuddewon. Yn awr ynghylch yr amser hwn * mab i Jeshua, enw'r hwn oedd Joacim, ydoedd yr archoffeiriad. Ymhellach, yr ydoedd yn awr yn Babilon ŵr cyfiawn, ac un oedd yn cael anrhydedd mawr ym mysg y lliaws. Yr ydoedd yn brif-offeiriad y bobl, a'i enw oedd Esdras. Yr oedd hefyd yn dra chyfarwydd ynghyfreithiau Moses, ac yn dra adnabyddus i'r brenin † Xerxes. Efe a benderfynasai fyned i fynu i Jerusalem, a chymmeryd gyd ag ef rai o'r Iuddewon hynny ag oedd yn Babilon. Ac efe a ddymunodd ar y brenin roddi epistol iddo at raglawiaid Syria, wrth yr hwn y gallent wybod pwy ydoedd efe. Yn ganlynol y brenin a ysgrifennodd yr epistol hwn at y llywodraethwyr:----

"Xerxes, brenin y brenhinoedd, at Ezra offeiriad a darllennydd y ddwyfol gyfraith, annerch. Yr wyf yn ei dybied yn gyttûn â'r ewyllys da sydd gennyf at ddynolryw, ganiattâu i'r rhai hynny o'r genedl Iuddewig ag sydd yn ewyllysio, yn gystal a'r rhai o offeiriaid a Lefiaid o fewn ein teyrnas, i fyned ynghyd i fynu i Jerusalem. Yn ganlynol, mi roddais orchymmyn allan i'r pwrpas hwnnw. A bydded i bob un sy'n ewyllysio fyned, yn ol yr hyn a welwyd yn dda gennyf fi a'm saith gynghoriaid; a hynny mewn trefn i olygu matterion Judea, ac i weled pa un a ydynt yn gyttunol â chyfraith Dduw. Cymmerant hefyd gyd â hwynt yr anrhegion hynny a ddarfu i mi a'm cyfeillion eu haddunedu; gyd â'r holl arian ac aur a geir yngwlad y Babiloniaid, megis wedi eu cyssegru i Dduw; a dyger y pethau hyn oll ymaith i Jerusalem yn aberthau. Bydded hefyd yn gyfreithlon i ti a'th frodyr i wneuthur cynnifer o lestri arian ac aur ag a ddewisech. Bydded i ti hefyd gyssegru y llestri a roddais i ti at wasanaeth sanctaidd; a chynnifer yn rhagor ag a welych yn dda eu gwneuthur; a chymmeryd y gost neu'r draul ymherthynas iddynt allan o drysorfa 'r brenin. Myfi ymhellach a ysgrifennais at drysorwyr Syria a Phœnicia, am iddynt gymmeryd gofal o ddeutu 'r achosion hynny ag y mae Esdras, offeiriad a darllennydd cyfreithiau Duw, wedi cael ei anfon o'u herwydd. Ac fel na byddo Duw yn ddig wrthyf fi na 'm plant, yr wyf yn rhoddi y cwbl ag sy'n angenrheidiol at aberthau Duw yn ol y gyfraith, cyn gymmaint a chan cori o wenith. Ac yr

* Bl. 479.

† Nad yw hanesiad Ezra neu Esdras yr ysgrifennydd, pan ddaeth a sefydlu y wladwriaeth Iuddewig, yn ol eu dychweliad o'r caethiwed Babilonaidd; a Nehemiah, yn ol adeiladu o hono furiau Jerusalem, yn perthynu i Artaxerxes y mab, ond i amser Xerxes y tad, fel y mae Josephus yn eu hiawn osod, yn wrthwyneb i'n holl gopiau eraill o Ezra a Nehemiah, a brofir yn helaeth yn fy ngwaith ar Gyflawniad Llythyrennol y Prophwydoliaethau Ysgrythyrol, Chwanegiad, t. d. 59---75. Megis hefyd fod deng wythnos a thrugain hynod y prophwyd Daniel yn cael eu dechreuad, nid oddiwrth y seithfed neu'r ugeinfed o Artaxerxes, fel y tybir yn gyffredin, ond o'r bummed ar hugain o deyrnasiad Xerxes, t. d. 78---91.

wyf yn gorchymmyn i chwi na osodoch un baich neu deyrnged ar eu hoffeiriaid a'u Lefiaid, cantorion cyssegrol, porthorion, gwasanaeth-ddynion, ac ysgrifennyddion y deml. A bydded i ti, O Esdras, ordeinio barnwyr yn ol y doethineb a roddwyd i ti gan Dduw; a'r rhai hynny yn gyfryw ag a ddeallo 'r gyfraith; fel y bo iddynt farnu yn holl Syria a Phœnicia; a boed i ti hyfforddi y rhai sy'n anwybodus ynddi: fel ag os bydd i neb o'th gydwladwyr droseddu cyfraith Dduw, neu'r eiddo'r brenin, y galler ei gospi ef; megis un ag na throseddodd o anwybodaeth, ond yn ei gwybod; ac yn rhyfygus yn ei throseddu a'i dirmygu. A'r cyfryw a ellir eu cospi â marwolaeth, neu trwy dalu dirwy.----Bydd wŷch."

Wedi i Esdras dderbyn y llythyr hwn yr ydoedd yn dra chyssurus,ac a ddechreuodd addoli Duw, gan addef mai efe a barasai i'r brenin fod mor ffafrol iddo, ac am yr un rheswm efe a roddodd yr holl ogoniant i Dduw. Felly efe a ddarllennodd yr epistol yn Babilon, i'r Iuddewon oedd yno: ond efe a'i cadwodd iddo ei hun, ac a ddanfonodd gopi o hono i'r holl rai hynny o'i genedl ei hun ag ydoedd ym Media. A phan ddeallodd yr Iuddewon hynny y fath sêl oedd gan y brenin tu ag at Dduw, a'r fath barch oedd ganddo i Esdras, yr oeddynt oll yn dra llawen. Ië, llawer o honynt a gymmerasant eu heiddo gyda hwynt, ac a aethant i Babilon, megis ag awydd ganddynt i fyned i wared i Jerusalem. Ond y corph mwyaf o bobl Israel a arosasant yn y wlad honno. Oblegid hyn nid oes ond dau lwyth yn Asia ac Ewrop, yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid, tra y mae'r deg llwythau y tu hwnt i Euphrates yn aneirif hyd yn awr, ac heb allael eu cyfrif o nifer. Yn awr, fe ddaeth rhifedi mawr o offeiriaid, Lefiaid, porthorion, cantorion, a gwasanaethyddion, at Esdras. Felly efe a gasglodd y rhai oll oedd mewn caethiwed ynghyd, y tu hwnt i Euphrates, gan aros yno dri diwrnod, a gorchymmyn dydd o ympryd iddynt, fel y gwnelent eu gweddiau at Dduw tros eu gwaredigaeth, fel na oddiweddid hwynt gan ddim niweid ar y ffordd oddi wrth eu gelynion, neu ryw ddamweiniau anghyssurus eraill. Canys Esdras a fynegasai ym mlaen llaw y modd y crybwyllodd wrth y brenin y gwaredai Duw hwynt; gan hynny ni thybiodd yn addas ofyn iddo am nifer o wŷr meirch i'w hamddiffyn. Felly pan orphennasant eu gweddiau, hwy a ymsymmudasant oddi wrth Euphrates, ar y deuddegfed dydd o'r mis cyntaf, yn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Xerxes; a hwy a ddaethant i Jerusalem ar y pummed mis o'r un flwyddyn. Yn awr, Esdras a roddodd yr arian cyssegredig at y trysorwyr, y rhai oeddynt o dylwyth yr offeiriaid; o arian, chwe chant a deg a deugain o dalentau; llestri arian un cant o dalentau; llestri aur ugain talent; a llestri pres ag oedd * werthfawroccach nag aur, deuddeg talent wrth bwysau. Canys yr anrhegion hyn a wnaethid gan y brenin ai gynghoriaid, a chan yr holl Israeliaid oedd yn aros yn Babilon. Felly, wedi i Esdras gyflëu yr holl bethau hyn i'r offeiriaid, efe a neillduodd at wasanaeth Duw aberthau appwyntiedig cyfan o boeth-offrymmau; deuddeg o deirw, ar gyfrif cadwedigaeth gyffredinol y bobl; deg a phedwar ugain o hyrddod; deuddeg a thrugain o ŵyn, a deuddeg o fynnod geifr, tros faddeuant pechodau. Efe hefyd a draddododd epistol y brenin i'w swyddogion, ac i bennaethiaid Cœlesyria a Phœnicia. Ac fel yr oeddynt tan angenrheidrwydd o wneuthur yr hyn a orchymmynasid ganddo, hwy a anrhydeddasant ein cenedl ni, ac a fuont yn gynnorthwyedig iddynt yn eu holl angenrheidiau.

Yn awr, yr holl bethau hyn a wnaethpwyd yn ffyddlon tan ofal Esdras, ac efe a lwyddodd ynddynt, o herwydd i Dduw ei gyfrif yn deilwng o'r anrhydedd hwnnw ar gyfrif ei gyfiawnder. Ond ym mhen amser yn ol hynny, daeth atto ryw ddynion, gan ddwyn cyhuddiad yn erbyn rhai o'r lliaws, ynghyd â'r offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai a droseddasent ymherthynas i'w sefydliad, ac a dorrasent gyfreithiau eu gwlad trwy briodi gwragedd dieithr, ac a ddygasent deulu'r offeiriaid i annhrefn. Y gwŷr hyn a ddymunodd arno amddiffyn y cyfreithiau; rhag

* Dr. Hudson sydd yn sylwi yma, fod y rhyw o bres neu gopr, neu yn hytrach cymmysg o aur a phres, neu gopr, yn cael ei alw Aurichalcum; ac mai hwn yn yr hen amser a gyfrifid yn fwyaf gwerthfawr o bob metel.

i Dduw gymmeryd i fynu ddigofaint yn eu herbyn oll, a'u darostwng i gyflwr alaethus drachefn. Ar hyn efe yn ebrwydd a rwygodd ei ddillad gan ofid, ac a dynnodd wallt ei ben a'i farf, gan fwrw ei hun ar y llawr, o herwydd fod y bai hwn wedi cyrraedd hyd at y gwŷr pennaf ym mhlith y bobl: a chan ystyried os gorchymmynai iddynt fwrw ymaith eu gwragedd, a'r plant a gawsant ganddynt hwy na wrandewid ddim arno; felly y parhaodd i orwedd ar y ddaear. Pa fodd bynnag, y goreuon o'r bobl a redasant atto, y rhai hefyd oeddynt eu hunain yn galaru, ac a fuont gyfrannog o'r gofid yr oedd efe ei hun tano am yr hyn a wnaethid. Felly Esdras a gyfododd i fynu oddiar y llawr, ac a estynnodd ei law allan tu â'r nefoedd, ac a ddywedodd, ei fod yn cywilyddio edrych tu ag yno, o herwydd y pechodau a wnaethai'r bobl, tra'r oeddynt wedi gollwng ymaith o'u cof pa drueni yr aethai eu tadau tano ar gyfrif eu pechodau. Ac efe a attolygodd ar Dduw yr hwn a gadwasai hâd, ac a achubasai weddill allan o'r blinder a'r caethiwed y buont ynddo, a'u hadferyd drachefn i Jerusalem, ac i'w tir eu hunain; ac a barasai i frenhinoedd Persia fod yn dosturiol tu ag attynt; ar fod iddo hefyd faddeu'r pechodau yr oeddynt yn awr wedi eu gwneuthur; y rhai er eu bod yn haeddu marwolaeth, etto ei fod yn gyttunol â thrugaredd Duw i arbed y cospedigaethau haeddiannol iddynt.

Ar ol i Esdras ddywedyd hyn, efe a adawodd heibio weddio; a phan oedd y rhai hynny oll ag a ddaethant atto gyd â'u gwragedd a'u plant tan alar; un ag ydoedd a'i enw Jechonïas, pennadur yn Jerusalem, a ddaeth atto, gan ddywedyd, Ddarfod iddynt bechu trwy briodi gwragedd dieithr; ac efe a'i perswadiodd i'w tynghedu hwy oll i fwrw ymaith y gwragedd hynny, a'r plant a anesid o honynt; a chospi y rhai na ufuddhaent i'r gyfraith. Felly Esdras a wrandawodd ar y cyngor hwn, ac a wnaeth i'r rhai pennaf o'r offeiriaid, y Lefiaid, a'r Israeliaid i dyngu y rhoddent heibio y gwragedd a'r plant hynny yn ol cyngor Jechonïas. Ac wedi iddo dderbyn eu llwon, efe a aeth ar frys allan o'r deml, i ystafell Johanan, fab Eliasib: ac fel na archwaethodd ddim hyd yn hyn, gan ofid, felly efe a arhosodd yno y dydd hwnnw. A phan osodwyd cyhoeddiad allan, Fod i'r rhai oll o'r caethiwed ymgynnull eu hunain ynghyd i Jerusalem; a bod i'r rhai na chyfarfyddent yno o fewn y deuddydd neu dridiau, gael eu halltudio o blith y lliaws, a'u heiddo gael ei ddefnyddio at achosion y deml: yn ol dedryd yr henuriaid, y rhai hynny o lwyth Judah a Benjamin a ddaethant ynghyd ym mhen y tridiau; sef, ar yr ugeinfed dydd o'r nawfed mis, yr hwn yn ol yr Hebreaid a elwir * Tebeth, yn ol y Macedoniaid, Apelleus. Yn awr, fel yr oeddynt yn eistedd yng ngoruwch 'stafell y deml, lle'r oedd yr henuriaid hefyd yn bresennol; ond a oeddynt anesmwyth oblegid yr oerfel; Esdras a safodd i fynu, ac a ddywedodd bechu o honynt, trwy briodi gwragedd, y rhai nid oeddynt o'u cenedl eu hun. Ond yn awr y byddai iddynt wneuthur peth boddlongar gan Dduw, a manteisiol iddynt eu hunain, os dodent ymaith y gwragedd hynny. Yn ganlynol, hwy a lefasant allan oll y byddai iddynt wneuthur hynny: y dyrfa pa fodd bynnag ydoedd liosog, a thymmor y flwyddyn ydoedd y gauaf; a'r gwaith hwn oedd yn gofyn mwy na diwrnod neu ddeuddydd: "Deued eu llywodraethwyr gan hynny," ebe hwy, "a'r sawl a briodasant wragedd dieithr, yma ar amser cyfaddas; tra mae henuriaid pob lle, y rhai ydynt yn gyffredin i wneuthur cyfrif o nifer y rhai a briodasant fel hyn, i fod yma hefyd. † Yn ganlynol hyn a benderfynwyd arno. A hwy a ddechreuasant wneud yr ymofyniad am y rhai a briodasant wragedd dieithr, ar y dydd cyntaf o'r degfed mis; ac a barhasant i chwilio hynny allan hyd y dydd cyntaf o'r mis nesaf; ac a gawsant lawer o hiliogaeth Jeshua yr archoffeiriad, ac o'r offeiriaid a'r Lefiaid, a'r Israeliaid, y rhai oeddynt a ‡ mwy gofal i sylwi ar y cyfreithiau, nac ymherthynas i'w naturiol serchowgrwydd;

* Caslon. † Ezra x. 13, 14

‡ Yr ymddygiad hwn o eiddo Ezra, ac o'r rhan oreu o'r genedl Iuddewig, yn ol y dychweliad o'r caethiwed Babilonaidd, o ddiddymmu y priodasau Iuddewig, unwaith am byth, yn ol many lrwydd cyfraith Moses, heb ddim esgusodiad graddau yn y rhai a'i torrasai; ac heb ofalu am y serch naturiol neu dosturi at eu gwragedd cenhedlig, a'u plant oddiwrthynt, ac a'i gwnaeth mor anhawdd i Ezra eu ceryddu hwynt, sydd yn haeddu sylwi yn fawr arno ym mysg Cristionogion. Y gwrthwyneb

ac yn ebrwydd hwy a fwriasant allan eu gwragedd, a'r plant a anesid o honynt. Ac mewn trefn i heddychu â Duw, hwy a offrymmasant aberthau, ac a laddasant hyrddod yn offrymmau iddo. Ond nid yw yn ymddangos yn angenrhaid i osod i lawr enwau y gwŷr hyn. Felly wedi i Esdras ddiwygio y bai hwn, ynghylch priodasau y personau rhag-grybwylledig, efe a droes yr ymarferiad hwnnw i burdeb; fel y parhaodd yn y cyflwr hwnnw tros yr amser i ddyfod.

Yn awr, pan gadwasant * ŵyl y pebyll yn y seithfed mis, a'r holl bobl, wedi dyfod ynghyd iddi, hwy a aethant i fynu i fan agored o'r deml, at y porth oedd yn edrych tu a'r dwyrain, a hwy a ddeisyfasant ar Esdras fod i gyfreithiau Moses gael eu darllen iddynt. Yn ganlynol, efe a safodd ynghanol y dyrfa, ac a ddarllennodd iddynt o'r bore hyd ganol dydd. Yn awr, trwy ddarllen y cyfreithiau iddynt, hwy a addysgwyd i fod yn ddynion cyfiawn yn bresennol ac mewn amser i ddyfod. Ond am eu troseddiadau a aeth heibio, yr oeddynt yn ddig wrthynt eu hunain o'u herwydd, ac yn tywallt dagrau o'u plegid; megis yn ystyried ynddynt eu hunain pe buasent yn cadw'r gyfraith, na ddioddefasent ddim o'r blinderau a fuont brofiadol o honynt. Ond pan welodd Esdras hwynt yn yr agwedd yma, efe a archodd iddynt fyned i'w cartrefi, a pheidio ag wylo, oblegid mai gŵyl ydoedd, ac na ddylent alaru ynddi, am nad ydoedd hynny yn † gyfreithlon. Efe a'u hannogodd yn hytrach i fyned ym mlaen yn union i wledda, ac i wneud yr hyn oedd gyttunol â diwrnod o lawenydd; ond i adael i'w hedifeirwch a'u galar am eu pechodau o'r blaen i fod yn sicrwydd ac yn wyliadwriaeth iddynt na syrthiont yn ychwaneg i'r un troseddiadau. Felly ar annogaeth Esdras, hwy a ddechreuasant wledda: ac wedi iddynt wneuthur hynny tros wyth niwrnod yn eu pebyll, hwy a ymadawsant i fyned i'w tai eu hunain; gan ganu hymnau o fawl i Dduw, a chan ddiolch i Esdras, am ddiwygio y llwgr a ddygasid i mewn i'w mysg hwynt. Felly, ar ol iddo gael y fraint a'r parch yma ym mhlith y bobl, efe a fu farw yn ŵr oedrannus, ac a gladdwyd mewn modd anrhydeddus yn Jerusalem. Ynghylch yr un amser fe ddigwyddodd hefyd i Joacim yr archoffeiriad farw; a'i fab Eliasib a'i dilynodd yn yr archoffeiriadaeth.

Yn awr ‡ yr ydoedd un o'r Iuddewon a ddygasid i gaethiwed, yn drulliad i'r brenin Xerxes. Ei enw oedd Nehemiah. Fel yr ydoedd y gwr hwn yn rhodio ger llaw Susa, prif-ddinas y Persiaid, efe a glywodd ddieithriaid ag oedd yn dyfod i mewn i'r ddinas, o daith bellenig, yn llefaru wrth eu gilydd yn y dafodiaith Hebraeg. Felly efe a aeth attynt, ac a ofynnodd o ba le y daethant? ac wedi atteb o honynt mai o Judea, efe a ddechreuodd ofyn iddynt drachefn ym mha gyflwr yr oedd y wladwriaeth? ac ym mha amgylchiad yr oedd Jerusalem? Hwythau a attebasant mai mewn § cyflwr drwg yr oeddynt; o blegid fod muriau Jerusalem wedi eu bwrw i lawr hyd y sylfeini, a'r cenhedloedd cymmydogaethol yn gwneuthur llawer o ddrygau i'r Iuddewon; pan wrth liw dydd yr oeddynt yn ymdaenu tros y wlad, ac yn ei hanrheithio; a'r nos yr oeddynt yn eu haflonyddu a'u niweidio; yn gymmaint ag mai nid ychydig a gymmerwyd ymaith yn gaethion o'r wlad, ac o Jerusalem ei hun; a bod y prif-ffyrdd i'w gweled y dydd yn llawn o gyrph dynion meirwon. Ar hyn Nehemiah a dywalltodd ddagrau, ar gyfrif trueni a thrallodion ei gydwladwyr: a chan edrych i fynu tu a'r nefoedd, efe a ddywedodd, "Pa hyd, O Arglwydd, y bydd i ti anghofio ein cenedl, pan y mae 'n dioddef cymmaint o flinderau;

ymarferiad a fu bob amser yn ddinystr gwir grefydd, ym mhlith Iuddewon a Christionogion, tra y mae golygiadau dinasaidd, nwydau dynol, a dibenion hunanol cyfrwysgall, yn cael eu goddef i gymmeryd lle, yn hytrach na'r cyfreithiau dwyfol; a thrwy hynny yr ydys yn colli bendith Duw, a'r eglwys yn cael ei goddef yn llygredig o'r naill genedl i'r llall.

* Gŵyl Iuddewig y pebyll oedd yn cael ei dilyn neu ddynwared yn amryw o ŵyliau'r cenhedloedd, fel y mae Spanheim yma yn dal sulw, ac yn profi. Y mae hefyd yn sylwi ym mhellach rhagllaw, pa fath ofal a pharch mawr oedd ganddynt i arwydd-feini beddrod eu tadau, megis ag yr oedd Nehemiah yma.

† Y rheol hon o eiddo Ezra, i beidio ymprydio ar ŵyl arbennig, a grybwyllir yn y Gosodiadau Apostolaidd, megis yn gymmeradwy ym mhlith Cristionogion.

‡ Bl. 462.

§ Y cyflwr truenus yma o eiddo'r Iuddewon, a'u mam-ddinas, sydd raid ei ddigwydd yn ol marwolaeth Ezra, eu llywodraethwr blaenorol; a chyn i Nehemiah ddyfod â'i awdurdod i adeiladu muriau Jerusalem. Ac nid yw hynny oll yn anghyttuno â'r hanes yma yn Josephus; gan fod dyfodiad Ezra yn y seithfed, a Nehemiah ddim yn gynt na'r bummed flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Xerxes, yn ol y cyfwng o ddeunaw mlynedd.

a thra i'n gadewir ni yn yspail ac yn ysglyfaeth i bob dynion?" A thra 'r oedd yn aros wrth y porth, ac yn galaru y modd hwn, un a ddaeth atto ac a ddywedodd, Fod y brenin yn barod i eistedd i swppera. Felly efe a frysiodd, ac a aeth ym mlaen fel yr oedd, heb ymolchi ei hun, i weini i'r brenin yn ei swydd fel pen-trulliad. Ond fel yr oedd y brenin yn dra chyssurus, ac yn siriolach nag arferol, yn ol i swpper fyned trosodd efe a fwriodd ei olwg ar Nehemiah; ac wrth ei weled yn edrych yn athrist, efe a ofynnodd, Paham yr ydoedd mor bruddaidd? Ar hyn, wedi dirgel-weddio ar Dduw am ddangos ffafr iddo, a rhoddi iddo rym i berswadio trwy ei ymadroddion, efe a ddywedodd, "Pa fodd y gallaf fi, O frenin, ymddangos yn amgen na 'r modd hwn, a pheidio a thristâu, tra 'r wyf yn clywed fod muriau Jerusalem, y ddinas lle y mae beddrod fy nhadau, wedi eu bwrw i lawr, a bod ei phyrth wedi eu difa â thân. Ond caniattâ di y ffafr i mi o gael myned i ail-adeiladu ei muriau, ac i orphen adeiladaeth y deml."* Yn ganlynol y brenin a roddes arwydd iddo, ei fod yn hollol ganiattau yr hyn ag oedd yn ei ofyn: ac a ddywedodd y rhoddid epistol iddo i'w ddwyn at y llywodraethwyr, fel y dangosent anrhydedd dyledus; ac estyn iddo y cyfryw gynnorthwy a fyddai 'n sefyll mewn diffyg o hono, hyd ag y mynnai. "Dyro heibio dy ofid, gan hynny," ebe'r brenin; "a bydd siriol ynghyflawniad dy swydd yn ol hyn." Felly Nehemiah a addolodd Dduw, ac a ddiolchodd i'r brenin am ei addewid, gan ymsirioli trwy'r cyssur a dderbyniodd oddiwrth ei addewidion. Yn ganlynol y brenin a alwodd am dano y dydd nesaf, ac a roddodd epistol iddo i'w ddwyn i Adeus llywodraethwr Syria, Phœnicia, a Samaria; ym mha un yr anfonodd atto am wneud derbyniad parchus o Nehemiah, a'i ddiwallu â'r hyn a fyddai yn eisiau arno at ei adeiladaeth.

Yn awr, wedi ei ddyfod i Babilon, a chymmeryd gyd ag ef amryw o'i gydwladwyr, y rhai yn ewyllysgar a'i canlynasant ef, efe a ddaeth i Jerusalem yn y bummed flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Xerxes. Ac wedi dangos yr epistolau i Dduw, † efe a'u rhoddes at Adeus, a'r llywodraethwyr eraill. Efe hefyd a alwodd ynghyd yr holl bobl i Jerusalem, ac a safodd i fynu ynghanol y deml, gan areithio wrthynt fel y canlyn: "Chwi wyddoch, O Iuddewon, ddarfod i Dduw gadw yn ei olwg yn barhaus ein tadau Abraham, Isaac, a Jacob; ac ar gyfrif eu cyfiawnder hwy, ni adawodd heibio ofalu am danoch chwithau. Yn wir efe a'm cynnorthwyodd i pan dderbyniais yr awdurdod sydd gennyf yn bresennol oddiwrth y brenin i gyfodi muriau 'r ddinas, a gorphen yr hyn sydd yn eisiau ar y deml. Yr wyf yn dymuno gan hynny arnoch, y rhai a wyddoch yn dda am y drwgewyllys sydd gan y cenhedloedd cymmydogaethol i ni; ac mai pan unwaith y gwneler iddynt gredu ein bod ni o ddifrif ynghylch ein hadeiladaeth, hwy a ddeuant arnom, ac a ddyfeisiant amryw o ffyrdd i rwystro ein gwaith; am i chwi, yn y lle cyntaf, roddi eich hyder ar Dduw, megis yr un a ddichon ein hymddiffyn rhag eu casineb; ac na orphwysom fyned ym mlaen â'n hadeiladaeth ddydd na nos; ond i arfer pob diwydrwydd a phrysurdeb ynghylch y gwaith, yn awr wedi cael y cyfleusdra neillduol sydd gennym yn llaw tu ag at hynny."

Wedi llefaru fel hyn, efe a roddes orchymmyn i'r llywodraethwyr fesur y mur, a rhannu ei waith ym mhlith y bobl, yn ol nifer eu pentrefi a'u dinasoedd, fel yr oedd gallu pob un yn ei ofyn. Ac wedi iddo chwanegu'r addewid yma, y byddai iddo ef ei hun, ynghyd â'i weision, eu cynnorthwyo hwynt, efe a ollyngodd ymaith y dyrfa. Felly'r Iuddewon a ymbarottoisant i'r gwaith. Dyna'r enw y gelwir hwy arno er y dydd y daethant i fynu o Babilon; yr hwn a gymmerwyd oddiwrth lwyth Judah, pa un a ddaeth gyntaf i'r parthau hyn; ac yna hwy, a'r wlad o amgylch, a aethant tan y titl neu'r enw hwnnw.

Yn awr, wedi i'r Ammoniaid, y Moabiaid, a'r

* Nehemiah ii. 1---5.

† Y dull hwn o ddangos epistolau y brenin Xerxes i Dduw, neu eu taenu o flaen Duw yn y deml, sydd yn dra thebygol i daeniad epistolau Sennacherib o'i flaen hefyd gan Hezeciah, 2 Bren. xix. 14. Esay xxxvii. 14. er bod y diweddaf hwn er coffadwriaeth, i ystyried eu gelynion, ac mewn trefn i gynnyrfu y dwyfol dosturi: a'r un presennol yn arwyddo diolchgarwch am drugareddau a dderbyniwyd eisoes; fel y mae Havercamp yn sylwi yn dda ar y lle hwn.

Samariaid, yghyd a phreswylwyr Cœlesyria, glywed fod yr adeilad yn myned ymlaen gyd â brys, hwy a edrychasant arno fel peth erchyll; ac a aethant ym mlaen i osod maglau iddynt, ac i rwystro eu hamcanion. Hwy hefyd a laddasant amryw o'r Iuddewon, ac a geisiasant ddifa Nehemiah ei hun, trwy gyflogi rhai dieithr i'w ladd ef. Hwy hefyd a ddodasant yr Iuddewon tan ofn, gan eu haflonyddu hwynt, a thaenu chwedlau o amgylch fod amryw genedlaethau yn dyfod i wnend ymgyrch yn eu herbyn; trwy ba foddion y dychrynwyd hwynt yn fawr, ac a fuont yn agos i roddi i fynu'r adeilad. Ond ni allodd dim o'r pethau hyn attal Nehemiah rhag bod yn ddiwyd ynghylch y gorchwyl. Efe yn unig a osododd nifer o ddynion o'i amgylch fel ceidwaid ei gorph: ac felly yn ddiflin efe a barhaodd i olygu'r gweithwyr; ac yr ydoedd heb deimlo lludded neu flinder, oblegid ei awydd i berffeithio'r gwaith. Ac fel hyn yr ydoedd yn wyliadwrus ac yn ocheladwy ymherthynas i'w ddiogelwch ei hun; nid o ran ei fod yn ofni marwolaeth, ond oblegid perswadiad ei feddwl, mai os darfyddai am dano, y byddai'r caerau i'w ddinasyddion fyth heb eu cyfodi. Efe hefyd a roddes orchymmyn ar fod i'r adeiladwyr gadw eu rhesau, wedi ymwisgo â'u harfogaeth tra fyddent yn adeiladu. Yn ganlynol, yr oedd y saer maen â'i gleddyf wrth ei ochr, * yn gystal a'r hwn a ddygai'r defnyddiau at yr adeilad. Efe hefyd a archodd am i'w tariannau orwedd yn dra agos attynt: ac efe a osododd udgyrn mewn pum can troedfedd o belldra oddiwrth eu gilydd; gan orchymmyn iddynt, os ymddangosai'r gelynion, y rhoddent arwydd o hono i'r bobl; ac yr ymladdent â hwy yn eu harfogaeth, ac nid yn noethion. Efe hefyd a aeth o amgylch y ddinas yn y nos, heb ddigalonni un amser, ymherthynas i'r gwaith ei hun, nac i'w lafur beunyddiol oddiwrtho; ac ni ofalodd ynghylch ei gwsg na'i ymborth; canys ni arferodd y pethau hyn er plesser, ond o angenrheidrwydd. A'r llafur yma a fu dano tros † ddwy flynedd a phedwar mis: canys tros gyhud o amser y bu'r muriau neu'r caerau yn cael eu cyfodi; yn yr wythfed flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Xerxes, ‡ yn y nawfed mis.

Yn awr, wedi eu gorphen, Nehemiah a'r lliaws pobl a offrymmasant aberthau i Dduw, o blegid eu hadeiladu hwynt; a hwy a barhausant i wledda tros wyth niwrnod. Pa fodd bynnag, pan glybu y cenhedloedd yn Syria ddarfod gorphen cyfodi y muriau, yr oeddynt yn ddig o'i herwydd. Ond pan welodd Nehemiah fod y ddinas yn anaml o bobl, efe a gynghorodd yr offeiriaid a'r Lefiaid i adael y wlad, ac ymsymmud eu hunain i'r ddinas, a pharhau yno: ac efe a adeiladodd iddynt dŷau ar ei gost ei hun. Ac efe a orchymmynodd i'r rhan hynny o'r bobl ag oedd yn llafurio'r tir i ddwyn degwm eu ffrwythau i Jerusalem; fel na byddo i'r offeiriaid a'r Lefiaid, a chanddynt beth i fyw arno, adael y dwyfol addoliad heibio. Yn ganlynol hwy a wrandawsant ar ordeiniadau Nehemiah, trwy ba foddion y daeth dinas Jerusalem i fod yn amlach ei thrigolion nag o'r blaen. Felly wedi i Nehemiah wneuthur llawer o bethau daionus eraill, a phethau yn haeddu canmoliaeth mewn modd godidog, efe a dyfodd yn oedrannus, ac yna efe a fu farw. Yr oedd efe yn ddyn o dymmer dda a chyfiawn, ac yn dra awyddus i beri hapusrwydd i'w gyd-genedl. Ac efe a adawodd furiau Jerusalem yn arwydd-feini parhaol o'i goffadwriaeth. Yn awr, hyn a wnaethpwyd yn nyddiau Xerxes.

## PENNOD VI.

*Ymherthynas i Esther, Mordecai, a Haman, a'r perygl niweidiol i ba un yr oedd Cenedl yr Iuddewon wedi eu dwyn yn Nheyrnasiad Artaxerxes.*

AR ol marwolaeth Xerxes, y deyrnas a

---

* Nehemiah iv. 18.

† Dichon na fydd yn anghymmwys sylwi yma, gyd â pha gywreinrwydd anarferol y mae Josephus yn cyfrif y blynyddoedd hyn o deyrnasiad Xerxes, ym mha rai yr ail-adeiladwyd caerau Jerusalem: sef, ddarfod i Nehemiah ddwyn ei awdurdod gyd ag ef yn y 25ain o Xerxes; fod y murian ddwy flynedd a phedwar mis yn cael eu cyfodi; a'u gorphen yn yr 28ain o'r un teyrnasiad. Gellir hefyd nodi ymhellach, nad yw Josephus fyth yn crybwyll ond am un anffaeledig arwydd astronomyddol; a hwnnw ychydig cyn marw Herod y Mwyaf, XVII. 6 Yn awr, ar y ddau arwydd amseryddol yma, mewn mesur mawr, y mae dan bwnge o bwys yn ymddibynnu, perthynol i Gristionogrwydd; sef, eglurhad y deng wythnos a thrugain yn Daniel; parhad gweinidogaeth ein Iachawdwr, ac amser ei farwolaeth, mewn cyferbyniad i'r deng wythnos a thrugain hyn. Er bod amseryddiaeth Josephus mor wahanol i'r eiddom ni, fel ei dangosir yn Canon Ptolemy, yr oedd yn ammhosibl fod ganddo un olwg neillduol ar y fath gyd-gyfattebiad.

‡ Bl. 459.

drosglwyddwyd i'w fab Cyrus, yr hwn a alwai y Groegiaid Artaxerxes. Wedi i'r gwr hwn feddiannu y llywodraeth ar y Persiaid, holl genedl yr Iuddewon,* gyd â'u gwragedd a'u plant, oeddynt mewn perygl o gael eu difetha; a'r achos o hono a gawn ei amlygu ym mhen ychydig amser. Oblegid y mae 'n gymmwys yn y lle cyntaf i adrodd rhyw beth ymherthynas i'r brenin hwn, a pha fodd y daeth iddo briodi gwraig o Iuddewes; yr hon oedd hefyd o'r teulu brenhinol, a'r hon a ddywedir iddi achub ein cenedl. Canys wedi i Artaxerxes gymmeryd y deyrnas, a gosod rhaglawiaid tros yr ugain a chant o daleithiau, o India hyd Ethiopia, yn y drydedd flwyddyn o'i † deyrnasiad, efe a wnaeth wledd gostfawr i'w gyfeillion, ac i genedl y Persiaid a'u llywodraethwyr: y cyfryw wledd ag oedd addas i frenin ei gwneuthur, pan fyddai yn dewis dangos cyfoethogrwydd ei haelioni; a hyn tros gant a phedwar ugain o ddyddiau. Ar hynny efe a wnaeth wledd i genhedlaethau eraill, ac i'w cennadwyr, yn Shusham, tros saith niwrnod. Yn awr, y wledd a orchymmynwyd yn y drefn ganlynol: Efe a barodd daenu pabell, yr hon a gynnelid gan golofnau o aur ac arian, gyd â llenni o liain a phorphor wedi eu taenu drostynt; fel y byddai lle i amryw filoedd o bobl i eistedd i lawr ynddynt. Y cwppanau a wasanaethid o amgylch gan y gweinyddwyr oeddynt o aur, wedi eu haddurno â meini gwerthfawr. Efe hefyd a orchymmynodd i'r gweinyddion na chymmellent y gwahoddedigion i yfed, trwy ddwyn gormodedd o win iddynt, megis y mae arfer y Persiaid, ond gadael pob un i'w ddewisiad ei hun. Ymhellach, efe a ddanfonodd negeseuwyr trwy'r wlad, gan roddi gorchymmyn ar iddynt beidio â'u llafur, a chadw gŵyl tros amryw ddyddiau, ar gyfrif ei deyrnasiad. Yn y cyffelyb fodd y darfu Vashti y frenhines gasglu ei gwahoddedigion ynghyd, a'u gwledda hwynt yn y palas. Yn awr, yr oedd dymuniad gan y brenin i wneuthur dangosiad o honi, megis un yn rhagori ar ferched eraill mewn tegwch, i'r gwleddwyr oedd gyd ag ef. Ond hi, o herwydd ei gofal i ufuddhau i gyfreithiau'r Persiaid, ag oedd yn gwahardd i wragedd ddanggos eu hunain i ddieithriaid, nid aeth at y brenin. Ac er iddo yn ol-yn-ol anfon yr eunuchiaid atti, hi er hynny a ommeddodd ddyfod; nes i'r brenin gythruddo cymmaint, a darfod iddo dorri ar y wledd, cyfodi i fynu, a galw am y seithwyr hynny, y rhai oedd a deongliad y cyfreithiau wedi ei orchymmyn iddynt, gan gyhuddo ei wraig, a dywedyd droseddu o honi i'w erbyn; o herwydd wedi mynych alw am dani ganddo i'w wledd, ni ufuddhaodd iddo.

Efe gan hynny a orchymmynodd am iddynt hyspysu iddo pa beth a ellid ei wneuthur trwy'r gyfraith i'w herbyn. Felly un o honynt, enw'r hwn oedd Memucan, a ddywedodd, Na wnaethid y tramgwydd hwn yn ei erbyn ef yn unig, ond y Persiaid oll; y rhai oedd mewn perygl o arwain bywydau anhappus gyd â'u gwragedd, os goddefent eu dirmygu ganddynt. Canys ni fyddai gan neb o'r gwragedd barch i'w gŵyr, tra fyddai ganddynt y fath siampl o dymmer anhywaeth ag oedd yn y frenhines tu ag at yr hwn oedd yn llywodraethu pawb. Yn ganlynol, efe a'i cynghorodd i'w chospi hi, yr hon a fuasai yn euog o gymmaint tramgwydd iddo, mewn modd

* Gan fod rhai amheuwyr yn ewyllysio diarddel y llyfr hwn o eiddo Esther, megis heb fod yn wirioneddol hanesiad: ac hefyd y dysgedig a'r cywrain Dr. Wall, yn ei nodau ar holl lyfrau Hebreaidd eraill yr Hen Destament, ni rydd i ni ddim ar y Caniadau neu ar Esther, ae sy 'n ymddangos trwy hynny fel pe b'ai am roi i fynu y llyfr hwn, yn gystal a'r Caniadau, megis yn anniffynadwy. Myfi a anturiaf ddywedyd, fod yr holl wrth-ddadleuon yn erbyn y llyfr hwn o eiddo Esther yn cael ar unwaith eu rhagflaenu, os, fel ag yn sier y dylem wneuthur, ac y gwnaeth y Deon Prideaux, gosodwn yr hanes yma tan Artaxerxes Longimanus; megis ag y mae y Septuagint ddeonglwyr a Josephus: hyn yr wyf yn ei feddwl, os hefyd y cymmerwn ein copiau o'r Septuagint a Josephus, yn hytrach nag o'r Hebraeg Masoreaidd. Mi chwanegaf yma ymhellach, ar ei blaid, eiriau y dysgedig Dr. Lee, yn ei Draethawd ar ail lyfr Esdras, t. d. 25. fod "Gwirionedd yr Hanes yma yn cael ei amlygu oddiwrth ŵyl y Purim, a gadwyd o'r pryd hynny hyd y dydd presennol. Gwel 2 Maccab. 15. 36, a'r cylchdroad rhyfedd rhagluniaethol hwn ar ran pobl gaethiwus, wrth hynny yn cael ei goffa, sy'n sefyll ar sicrach sail na bod y fath un ag Alexander fawr erioed yn y byd: am deyrnasiad pa un nid oes y fath arwydd-faen coffadwriaethol y dydd hwn i'w gael yn un lle. Ac ni fydd iddynt hwy, mi feiddiaf ddywedyd, ag a ddadleua ynghylch hyn, neu ryw ran arall o'r hanesion cyssegredig, ei gael yn beth hawdd i gymmodi 'r amryw hanesion a roddir gan hanesyddion am fatterion y brenin hwn; neu gadarnhau unrhyw weithred, pa bynnag, gyd â'r un dystiolaeth ag a roddir yma am y peth mwyaf a grybwyllir yn y llyfr hwn; neu gymmaint a phrofi hanfodiad y cyfrywberson, ymherthynas i ba un yr adroddir pethau mor fawr, ond trwy ganiattâu i lyfr Esther, neu'r chweched o Esdras, (fel y gelwir ef yn rhai copiau hynafol yn Lladin) gael ei gyfrif yn hanesiad cywir a gwirioneddol."

D. S. Y dystiolaeth hynaf a mwyaf awdurdodol sydd gennym am Alecsander Fawr, á gynnwysir yn y saith adnod gyntaf o lyfr cyntaf y Maccabeaid. † Bl. 454.

llym; ac wedi gwneuthur hyny, cyhoeddi i'r cenedlaethau yr hyn a benderfynwyd arno ymherthynas i'r frenhines. Felly y penderfyniad ydoedd dodi Vashti ymaith, a gosod ei graddau i ryw un arall.*

Ond y brenin wedi teimlo hoffder o'r blaen tu ag atti, nid oedd barod i gydsynio ag ysgariad; ac etto wrth y gyfraith ni's gallai oddef ymgymmodiad. Felly'r ydoedd tan derfysg meddwl, megis heb allu ynddo i wneud yr hyn a ewyllysiai. Ond pan welodd ei gyfeillion ef mor anesmwyth, hwy a'i cyngorasant i ddodi ymaith o'i feddwl goffadwriaeth ei wraig a'i serch tu ag atti, ac anfon o amgylch tros yr holl wledydd i chwilio am wyryf ieuangc, a chymmeryd yr hon a ddewisai, o blith amrywiol eraill yn wraig iddo; o blegid y byddai i'w serchowgrwydd tu ag at ei wraig gyntaf gael ei ddiffodd trwy ddygiad un arall i mewn; a'r hoffder oedd ganddo at Vashti a ddiflannai, ac a osodid ar arall a fyddai yn agos atto. Yn ganlynol efe a berswadiwyd i ddilyn y cyngor hwn; ac a roddes orchymmyn i wŷr pendant, i ddewis allan o'r morwynion ag oedd yn ei deyrnas, y rhai a ganmolid yn fwyaf o ran eu tegwch. Felly wedi i nifer fawr o'r cyfryw forwynion gael eu casglu ynghyd, cafwyd un llangces yn Babilon, rhïeni pa un a fuasent feirw, a hi a ddygwyd i fynu gyd a'i hewythr Mordecai, yr hwn ydoedd o lwyth Benjamin, ac un o'r gwŷr mwyaf ym mysg yr Iuddewon. Yn awr, fe brofodd fod yr wyryf hon, enw pa un oedd Esther, yn deccaf o honynt oll; a bod prydferthwch ei hwynebpryd yn tynnu golwg yr edrychwyr i graffu yn bennaf arni hi. Felly hi orchymmynwyd i gadwriaeth un o'r eunuchiaid i gymmeryd ei gofal; a hi a ber-arogìwyd ag enaint gwerthfawr, y fath ag oedd ei chorph yn gofyn ei enneinio ag ef. A hyn a arferid am chwe mis gan y morwynion, y rhai mewn rhifedi oeddynt bedwar cant. Ac wedi i'r eunuch farnu fod y morwynion ieuangc wedi eu cyflawn buro yn yr amser rhag-grybwylledig, a'u bod yn awr yn addas i wely'r brenin, efe a anfonodd un yn feunyddiol i fod gyd ag ef: felly wedi bod yn ei chyfeillach, efe a'i hanfonai yn ol gyd â'r eunuch. A phan ddaeth Esther atto, efe a'i hoffodd, ac a syrthiodd mewn cariad â hi; ac efe a'i priododd, ac a'i gwnaeth iddo yn † wraig gyfreithlon; ac a gadwodd wledd briodas o'i phlegid hi, ar y deuddegfed mis, a elwid Adar, a'r seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad. Efe hefyd a ddanfonodd Angari, fel y gelwir hwynt, neu negeseuwyr i bob cenedl; gan orchymmyn iddynt gadw gwledd ar gyfrif ei briodas, wedi darfod iddo ei hun wledda y Persiaid a'r Mediaid, a'r gwŷr pennaf o bob cenedl, tros fis cyfan. Yn ganlynol Esther a ddaeth i'r palas brenhinol, ac efe a osododd goron-bleth ar ei phen, a'r modd hwn y priodwyd hi, heb wneud yn adnabyddus i'r brenin un o ba genedl ydoedd hi. Ei hewythr hefyd a symmudodd o Babilon i Shushan, ac a arhosodd yno; gan fod o amgylch y palas yn feunyddiol, ac yn ymholi pa fodd yr ydoedd y frenhines ieuangc, canys efe a'i carai fel pe buasai ei ferch ei hun.

Yn awr, y brenin a wnaethai ‡ gyfraith, na fyddai i neb o'i bobl nesâu atto heb alwad, pan eisteddai ar ei orseddfaingc. A gwŷr a bwyill yn eu dwylaw a safent o amgylch ei orseddfaingc, mewn trefn i gospi y rhai a nesäent atto heb alwad iddynt. Pa fodd bynnag y brenin a eisteddai gyd â theyrnwialen aur yn ei law; yr hon a estynnai allan pan ewyllysai arbed rhyw un o'r rhai a agosäent atto heb gael galwad; a'r neb a gyffyrddai â hi a fyddai rydd oddiwrth berygl.

Ym mhen amser ar ol hyn, dau eunuch, Bigtham a Teresh, a gydfradwriasant yn erbyn y brenin; a Barnabasus, gwas i un o'r eunuchiaid, ac efe yn Iuddew o genedl, a wybu am eu cydfradwriaeth, ac a'i datguddiodd i ewythr y frenhines; a Mordecai, trwy Esther, a wnaeth y bradwriaeth yn hyspys i'r brenin.§ Hyn a fu'n flinder iddo ef; ond efe a ddaeth i wybod y

* Esther. ii. 3, 4. † Esther ii. 17.

‡ Cymmerwch yma nod Dr. Hudson, pa un ydyw hyn: Herodotus sy 'n dangos L. I. cap. 99. fod y gyfraith hon yn erbyn pawb i ddyfod heb alwad iddynt at frenhinoedd Persia, pan eisteddent ar eu gorsedd-feingciau, wedi ei gosod allan gyntaf gan Dejoces; h. y. gan yr hwn a dynnodd ymaith y Mediaid oddi tan lywodraeth yr Assyriaid, a'r hwn ei hun a lywodraethodd gyntaf arnynt. Y modd hwn hefyd, fel y dywed Spanheim, yr oedd gwarcheidwaid, gyd a'u bwyill, o amgylch gorseddfaingc Tenus, neu Tenclus; fel yn ddioed y cospid troseddwr ganddynt.

§ Esther ii. 21, 22.

gwirionedd o hono; ac a grogodd yr eunuchiaid ar groes. Y pryd hynny, pa fodd bynnag, ni wobrwywyd Mordecai ganddo, yr hwn a fu'n achos o'i ddiogeliad. Efe yn unig a archodd i'r ysgrifennydd osod ei enw i lawr yn y coffadwriaethau, ac a barodd iddo aros yn y palas fel cymdeithasydd cyfeillgar â'r brenin.

Yn awr, yr ydoedd Haman mab Amadatha, yr hwn wrth enedigaeth oedd yn Amaleciad, pa un a arferai fyned i mewn at y brenin: a dieithriaid, ynghyd a'r Persiaid, a'i hanrhydeddent ef; am i Artaxerxes orchymmyn i'r cyfryw barch gael ei ddangos iddo. Ond Mordecai oedd mor gall, a chymmaint sylwiwr o gyfreithiau ei wlad, fel nad *ymgrymmai efe i'r dyn hwn. Pan ddaliodd Haman sulw arno, efe a holodd un o ba le ydoedd? ac wedi iddo ddeall mai Iuddew ydoedd, yr oedd ganddo ddigofaint tu ag atto, ac a ddywedodd ynddo ei hun, "Pan y mae'r Persiaid, y rhai ydynt ddynion rhyddion yn ymgrymmu i mi, y dyn yma, yr hwn nid yw well na chaethwas, nid ymostwng i hynny." A phan oedd yn ewyllysio i gospedigaeth gael ei gwneuthur ar Mordecai, efe a'i tybiodd yn beth rhy fychan i ofyn gan y brenin ei gospi ef ei hun yn unig; efe yn hytrach a amcanodd ddifodi yr holl genedl; canys yr oedd o naturiaeth yn elyn i'r Iuddewon, o blegid cenedl yr Amaleciaid, (o ba un yr oedd efe), a ddinystriasid ganddynt. Yn ganlynol, efe a ddaeth at y brenin gan eu cyhuddo hwynt, a dywedyd, "Y mae rhyw genedl ddrygionus, pa un a wasgarwyd tros wyneb y ddaear, ac sydd tan dy lywodraeth di; cenedl wahaniaethol oddiwrth eraill, ac anghymdeithasgar; heb arferyd yr unrhyw ffurf o addoliad dwyfol, na chael eu llywodraethu â'r un cyfreithiau: y maent yn elyniaethol i'th bobl, ac yn gwahaniaethu oddiwrth bob dynion yn eu hymddygiad a'u hymarferion. Yn awr, os byddi yn gyfrannwr llesâd i'th ddeiliaid, ti a roddi allan orchymmyn am eu difetha yn gyfan-gwbl, heb adael y gweddill lleiaf o honynt; na chadw yn fyw neb i fod yn gaethion neu gaeth-weision." Ond fel na byddai i'r brenin gael ei golledu o ddiffyg y deyrnged a dalai'r Iuddewon, Haman a addawodd roddi allan o'i etifeddiaeth ei hun ddeugain talent, pa bryd bynnag y gwelai'r brenin yn dda. Ac efe a ddywedodd y talai yr arian hyn yn dra ewyllysgar, fel y rhyddheid y deyrnas oddiwrth y fath ddrwg-ddynion.

Wedi i Haman osod o'i flaen y deisyfiad hwn, y brenin a faddeuodd iddo y swm o arian, ac a roddodd y dynion i'w law, i wneud fel y mynnai â hwynt. Felly Haman wedi cael yr hyn a ddymunodd, a ddanfonodd allan yn ebrwydd gyhoeddiad, megis oddiwrth y brenin, at yr holl genedlaethau tan ei lywodraeth; cynnwysiad pa un ydoedd fel y canlyn: "Artaxerxes, y brenin mawr, at holl raglawiaid y cant a saith ar hugain o daleithiau, o India hyd Ethiopia, sy'n anfon yr ysgrifen hon. Megis yr wyf wedi llywodraethu ar amryw genhedloedd, ac etifeddu arglwyddiaeth ar y byd trigiannol, yn ol fy nymuniad; ac na ddarfu im' wneuthur dim yn orthrymmus neu yn greulon i'm deiliaid, trwy fy unrhyw awdurdod: ond a ddangosais fy hun yn oddefgar ac yn dyner, trwy ofalu am eu heddwch a'u trefn dda; ac a ystyriais pa fodd y gallent fwynhau y bendithion hyn tros amser yn ol. Ac fel y mae Haman, yr hwn ar gyfrif ei bwyll a'i gyfiawnder, yn bennaf mewn cyfrifiad a mawredd gennyf, ac ail yn unig im' fy hun, am ei ffyddlondeb a'i ewyllys da yn wastadol, wedi amlygu yn garedig i mi, fod math o genedl anhywaeth yn gymmysgedig â holl ddynolryw, ag sy'n wrthwynebol i'n cyfreithiau, ac heb fod yn ostyngedig i frenhinoedd; ac yn wahanol yn null eu bywydau i eraill; ac o dymmer anghydffurfiol â'n defodau ni; yr wyf yn rhoddi gorchymmyn, fod i'r holl bobl hynny, am ba rai y mae Haman wedi hyspysu i ni, gael eu difetha, gyd â'u gwragedd a'u plant; ac na arbeder neb o honynt; ac na ddewiso neb ddangos tosturi tu ag attynt, yn hytrach nag

* Pa un ai bod yr ymgrymiad hwn a ofynid gan Mordecai i Haman, yn cael ei olygu ganddo ef yn rhy debyg i'r addoliad a berthyn yn unig i Dduw, fel yr ymddengys fod Josephus yn meddwl yma, megis hefyd ddeonglwyr y Septuagint; ac oddiwrth eu cyfieithiad o Esther xiii. 12, 13, 14, neu pa un a oedd yn meddwl na ddylai ddangos un math o anrhydedd i Amaleciad, cenedl yr hwn oedd bechaduriaid mor fawr, a'u bod wedi eu cyffredinol nodi i ddinystr gan Dduw ei hun, Exod. xvii. 14, 15, 16. 1 Sam. xv. 18. neu pa un a oedd yr holl achlysuron yn cydgyfarfod, ni ellir yn awr yn hollol ei benderfynu.

ufudd-dod i'r gorchymmyn hwn. A'm hewyllys hwn sydd i gael ei gyflawni ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r deuddegfed mis o'r flwyddyn bresennol: fel pan ddifether y rhai hynny oll sydd â gelyniaeth i ni, a hynny mewn un dydd, y caffom rhagllaw arwain gweddill ein bywydau yn heddychlon." Yn awr, wedi dyfod y ddeddf neu'r gorchymmyn hwn i bob dinasoedd, a thrwy'r gwledydd o amgylch; pob rhyw barodrwydd a wnaethpwyd er dinystr a diwreiddiad yr Iuddewon, erbyn y diwrnod appwyntiedig. Ac yr oeddynt yn gwneuthur brys, yn yn Shushan yn enwedig, erbyn yr amser. Yn ganlynol y brenin a Haman a dreuliasant eu hamser yn cydwledda, gyd â gwin a sirioldeb: ond y ddinas oedd yn drallodedig ac yn athrist.*

Yn awr, wedi i Mordecai gael hyspysrwydd o'r hyn a wnaethid, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ddododd am dano sachliain, gan daenu lludw ar ei ben, a myned o amgylch y ddinas yn llefain allan, Fod cenedl na wnaethai niweid i neb wedi eu happwyntio i'w difetha; ac efe a aeth ym mlaen dan lefaru y modd hwn, cyn belled a'r brenhinllys, ac yno efe a safodd: canys nid oedd gyfreithlon iddo fyned i mewn yn y wisg honno. Yr un peth a wnaethpwyd gan yr holl Iuddewon oedd yn yr amrywiol ddinasoedd, ym mha rai y cyhoeddwyd y gorchymmyn hwn, gyd âg wylofain a galar, ar gyfrif y dinystr a fygythid arnynt. Ond cyn gynted ag y mynegwyd i'r frenhines, fod Mordecai yn sefyll o flaen y porth mewn galar-wisg, hi a derfysgwyd wrth yr ymadrodd hwn; ac a ddanfonodd allan wasanaethwr i newid ei wisgoedd. Ond pan na ellid ei berswadio i ddiosg ei sachwisg, o herwydd fod yr achos o'i ymwisgiad â hi etto heb ddarfod; hi alwodd yr eunuch Acratheus, yr hwn oedd y pryd hynny yn bresennol, ac a'i danfonodd at Mordecai, mewn trefn i wybod pa ddamwain alaethus a ddigwyddasai iddo, am ba un yr ydoedd mewn galar-wisg, ac na fynnai ei diosg ar ei dymuniad hi. Yna Mordecai a hyspysodd i'r eunuch yr achos o'i alar; ac ynghylch y gorchymmyn a ddanfonasid gan y brenin i'r holl wledydd; a'r swm o arian a addawsai Haman am ganiattâd i ddifetha eu cenedl. Efe hefyd a roddodd gopinod o'r hyn a gyhoeddasid yn Shushan i'w ddwyn at Esther: ac efe a'i hannogodd i wneud ei deisyfiad at y brenin, ynghylch yr achos hwn; a pheidio a'i farnu yn ddianrhydedd i ddodi gwisg ostyngedig am dani er mwyn diogelu ei chenedl; trwy'r hyn ysgatfydd y gallai ragflaenu dinystr yr Iuddewon ag oedd mewn perygl o hynny. Canys Haman, yr hwn oedd a'i raddau mor uchel, ac yn unig yn îs na'r brenin, a gyhuddasai yr Iuddewon, ac a ennynodd ei ddigter tu ag attynt. Wedi ei hyspysu ymherthynas i hyn, hi a ddanfonodd at Mordecai drachefn, ac a ddywedodd iddo, Na alwesid hi gan y brenin; a bod i'r hwn a ryfygai fyned i mewn atto heb alwedigaeth yn sicr o gael ei ladd, oddigerth digwyddo i'r brenin estyn y deyrnwialen allan iddo ef, trwy ba arwydd yn unig y gallai gael maddeuant, a hollol achubiaeth. Yn awr, wedi i'r eunuch ddwyn y neges hwn oddiwrth Esther at Mordecai, efe a barodd ddywedyd wrthi, y dylai nid yn unig ymdrechu tros ei diogelwch ei hun, ond tros achubiaeth cyffredin ei chenedl. Canys os esgeulusai yn awr yr odfa bresennol, fe gyfodai yn sicr gymmorth iddynt hwy gan Dduw ryw ffordd arall; ond hi a thŷ ei thad a ddifethid gan y rhai oedd yn awr yn eu distyru. Ond Esther a ddanfonodd yr un eunuch yn ol at Mordecai, i ddymuno arno fyned i Shushan, a chasglu'r Iuddewon ag oedd yno ynghyd yn gynnulleidfa, ac i ymprydio ac ymarbed oddiwrth fwydydd o'i phlegid hi; a gadael iddo wybod y gwnai hi a'i llaw-forwynion yr un modd: ac yna addawodd yr ai hi at y brenin, er ei fod yn erbyn y gyfraith; ac os gorfyddai iddi farw ni wrthodai hynny.

Yn ganlynol Mordecai a wnaeth fel y parwyd iddo gan Esther, ac a wnaeth i'r bobl ymprydio; ac efe a gydymbiliodd â hwynt ar Dduw nad anghofiai eu cenedl, yn enwedig yr amser hwnnw pan ydoedd i gael ei difetha. Ond bod iddo, fel y trefnodd fynych waredigaeth iddynt o'r blaen, yn awr faddeu wedi pechu o honynt; felly yn bresennol y gwaredid hwynt rhag y distryw a luniwyd yn eu herbyn. Canys er na throsedd-

* Esther iii. 15.

odd y genedl mewn un modd, etto rhaid ydoedd iddynt gael eu lladd mewn dull mor waradwyddus; ac mai efe ei hun oedd yr achos o ddigofaint Haman; "O herwydd," eb efe, "nad ymgrymmais iddo; ac ni allwn oddef talu yr anrhydedd hwnnw iddo ef, ag oeddwn yn arferol o dalu i ti, O Arglwydd: canys oddi ar ei ddigder hwn y lluniodd y creulondeb presennol yn erbyn y rhai na throseddasant dy gyfreithiau di." Yr un erfynion a osododd y lliaws i fynu; gan ddeisyf ar Dduw drefnu gwaredigaeth iddynt; a rhyddhau yr Israeliaid ag ydoedd tros wyneb y ddaear, oddiwrth y trallod hwn ag oedd yn awr yn dyfod arnynt. Canys yr oedd megis o flaen eu llygaid, ac yn disgwyl ei ddyfodiad. Yn ganlynol, Esther a wnaeth ymbiliau at Dduw, mewn dull cyffelyb i'w chydwladwyr, trwy orwedd ei hun ar y ddaear, a dodi am dani ei galar-wisgoedd, gan ffarwelio â bwyd a diod, a phob danteithion am dri diwrnod yn ol-yn-ol. A hi a erfyniodd ar Dduw wneuthur trugaredd â hi, trwy beri i'w geiriau ymddangos megis ag effaith ynddynt, i'r brenin; a pheri mwy o brydferthwch yn ei hwynbpryd nac o'r blaen; fel trwy ei gwedd a'i hymadroddion y llwyddai i droi ymaith ddigofaint y brenin, os digwyddai ennyn i'w herbyn; ac er cyssur i'r rhai hynny o'i gwlad ei hun, pan oeddynt yn y perygl mwyaf o gael eu difetha: megis hefyd ar fod iddi gynnyrfu casineb yn y brenin yn erbyn gelynion yr Iuddewon, a'r rhai a luniasent eu dinystr rhagllaw, os profent yn haeddiannol o gael eu heuog farnu ganddo.

Wedi i Esther wneuthur eu herfyniadau hyn at Dduw, tros dri diwrnod, hi ymddioscodd ac a newidiodd ei galar-wisgoedd, ac a addurnodd ei hun mewn modd addas i frenhines, gan gymmeryd dwy o'i llaw-forwynion gyd â hi: un o ba rai a'i cynnaliodd fel ag y rhoddai ei phwys arni; a'r llall yn ei dilyn, i gynnal i fynu odre hir-llaes ei gwisgoedd â blaen ei bysedd. Ac fel hyn y daeth at y brenin, a chanddi wrîd cywilyddgar yn ei hwyneb-pryd, gyd ag ymddygiad hyfryd a serchiadol. Er hynny hi aeth i mewn atto gyd â chryndod: a chyn gynted ag y daeth gyferbyn ag ef, fel ag yr oedd yn eistedd ar yr orsedd-faingc yn ei frenhinol wisg, yr hon oedd wedi ei chyd-wau ag aur a meini gwerthfawr, yr hyn a wnaeth iddo ymddangos iddi hi yn fwy arswydus, yn enwedig gan ei fod yn edrych yn llym arni, ac yn danllyd yn ei wynebpryd; ei haelodau a ddiffygiodd tani, o blegid y dychryn yr ydoedd ynddo, a hi a syrthiodd i lawr o'r neilldu mewn llewyg. Ond y brenin a newidiodd ei feddwl, yr hyn a ddigwyddodd, fel y tebygaf, trwy allu Duw; ac yr oedd yn ddrwg ganddo o blegid ei wraig, rhag i'w hofnau ddwyn rhyw beth niweidiol arni: ac efe a neidiodd o'i orsedd-faingc, ac a'i cymmerodd yn ei freichiau, a hi a adfywiodd trwy iddo ei chofleidio hi, a llefaru yn dyner wrthi; gan ei chynghori i ymgefnogi, ac na ofnai ddim niweid ar gyfrif ei dyfodiad heb ei galw atto ef; o herwydd mai i ddeiliaid yr oedd y gyfraith honno; ond y gallai hi, yr hon oedd frenhines, fod yn gwbl ddiangol. Ac fel yr oedd yn dywedyd hyn, efe a roddodd y deyrnwialen yn ei llaw, ac a osododd ei wialen ar ei gwddf, oblegid y gyfraith, ac felly a'i rhyddhaodd oddiwrth ei hofn. Ac wedi ymnerthu o honi trwy 'r ymadroddion cyssurus hyn gan y brenin, hi ddywedodd, "Fy arglwydd, nid yw yn hawdd i mi, ar fyrr, i adrodd y peth a ddigwyddodd; canys mor gynted ag y gwelais dy fawrhydi a'th ardderchowgrwydd arswydus di, fy yspryd a ddiffygiodd ynof, a'm nerth a'm gadawodd." A chan mai gyd âg anhawsdra, a llais isel, y gallodd ddywedyd cymmaint a hyn, y brenin a flinwyd yn fawr, ac a ddeisyfodd ar Esther i fod yn gyssurus, ac i ddisgwyl gwell amserau; gan ei fod ef yn barod, os byddai achos yn gofyn, i ganiattâu iddi hanner ei deyrnas. Yn ganlynol, Esther a ddymunodd iddo ef, a'i gyfaill Haman ddyfod atti i wledda, canys hi ddywedodd ei bod wedi parottoi swpper iddo ef: felly efe a gydsyniodd. A phan oeddynt hwy yno, ac yn yfed, efe a barodd i Esther ddywedyd pa beth yr oedd yn ewyllysio ganddo; oblegid na siommid mo'ni, pe gofynnai iddo hyd yn hanner ei deyrnas. Ond hi a roddodd heibio ddatguddio ei deisyfiad hyd y dydd nesaf; os deuai efe drachefn, ynghyd â Haman i wledda atti hi.

Yn awr, wedi i'r brenin addaw gwneuthur hynny drachefn, Haman a aeth ymaith yn dra llawen, o herwydd iddo ef yn unig gael yr anrhydedd o swppera gyd â'r brenin, yngwledd Esther; ac oblegid nad oedd neb arall yn cael bod yn gyfrannog o'r cyfryw anrhydedd gyd â brenhinoedd ond efe ei hun. Etto pan ganfu efe Mordecai yn y porth, yr ydoedd yn dra anfoddlon; canys ni ddangosodd un radd o barch iddo pan welodd ef. Felly efe a aeth adref, ac a alwodd am ei wraig Zeresh, a'i gyfeillion. Ac wedi eu dyfod hwynt, efe a adroddodd iddynt pa anrhydedd a gawsai, nid yn unig gan y brenin, ond y frenhines hefyd. Canys megis ag mai efe ei hun yn unig, gyd â'r brenin, a wleddasai yn nhŷ Esther y dydd hwnnw; felly ddarfod ei wahodd yr un modd yno y dydd nesaf. "Etto," eb efe, "ni 'm boddlonir wrth weled Mordecai yr Iuddew yn y porth."

Ar hyn ei wraig Zeresh a'i cynghorodd i orchymmyn gwneuthur crogbren, yn ddeg cufydd a deugain o uchder, a bod iddo yn y boreu ofyn cennad i'r brenin, i grogi Mordecai arno. Felly efe a foddlonodd i'w chyngor, ac a orchymmynodd i'w weision barottoi y crogbren, a'i osod i fynu yn y porth, er cospedigaeth i Mordecai; yr hyn yn ganlynol a wnaethpwyd. Ond Duw a watworodd ddisgwyliadau drygionus Haman; canys y nos honno y cymmerwyd ymaith ei gwsg oddiwrth y brenin: ac fel nad oedd yn ewyllysio i amser ei ddihuniad fyned heibio yn ofer, ond ei dreulio yn rhyw beth a fyddai er llesâd i'w deyrnas; efe a orchymmynodd i'w ysgrifennydd ddwyn i mewn groniclau y brenhinoedd gynt, a choffadwriaethau ei amser ei hun. Ac wedi eu dwyn hwynt atto, a'u darllain, cafwyd ddarfod i un dderbyn meddiant o wlad, ar gyfrif ei ymddygiad rhagorol ar ryw achos pendant: ac enw 'r wlad ydoedd wedi ei nodi i lawr. Un arall a gafwyd wedi gwneud anrhegion iddo ar gyfrif ei ffyddlondeb. Yr ysgrifennydd yn ol hyn a ddaeth at Bigthan a Teresh, yr eunuchiaid, y rhai gynt a fradwriaethasant yn erbyn y brenin, yr hyn a ddarfuasai i Mordecai ei ddatguddio. A phan na chrybwyllodd yr ysgrifennydd ychwaneg na hynny; ac yn myned ym mlaen at hanes arall, y brenin a'i hattaliodd; ac a ofynnodd, Ai nid oedd wedi ei chwanegu i Mordecai dderbyn gwobr? A phan ddywedodd na nodasid i lawr ddim o'r fath chwanegiad, efe a barodd iddo roddi i fynu: ac efe a ymholodd â'r rhai appwyntiedig i'r achos hynny, pa awr o'r nos ydoedd? ac wedi ei hyspysu ei bod eisoes yn ddydd; efe a orchymmynodd, os caent neb o'i gymdeithion wedi dyfod yno eisoes, ac yn sefyll o flaen y porth, am iddynt fynegi iddo ef. Yn awr, fe ddigwyddodd gael o honynt Haman, canys efe a ddaethai yn gynt nac arferol, i ofyn cennad y brenin i roddi Mordecai i farwolaeth. Ac wedi i'r gwasanaeth-ddynion ddywedyd fod Haman o flaen y porth, efe a barodd iddynt ei alw i mewn. Ac wedi ei ddyfod i mewn, efe a ddywedodd, "Gan im' wybod mai cyfaill ffyddlon ydwyt ti, yr wyf yn dymuno cael dy gyngor, pa fodd yr anrhydeddaf un yr wyf yn ei fawr berchi, a hynny mewn modd addas i'm hurddas a'm mawrhydi?" Yn awr, Haman a ymresymmodd ag ef ei hun, ymherthynas i'r hyn a annogai 'r brenin ei wneuthur, mai iddo ei hun y gwnai, tra mai efe yn unig oedd garedig gan y brenin. Felly efe a roddodd y cyngor a dybiodd fod o bob rhai eraill yn oreu. Canys efe a ddywedodd, "Os mynni yn wirioneddol anrhydeddu gwr yr wyt yn ei hoffi, gorchymmyn fod iddo gael ei osod i farchogaeth ar farch, a'i orchuddio â'r wisg â pha un i'th wisgir di, gyd â chadwyn aur o amgylch ei wddf; ac eled un o'th gyfeillion pennaf o'i flaen ef, gan gyhoeddi trwy'r holl ddinas, fod pwy bynnag y mae'r brenin yn ei anrhydeddu, i gael yr arwydd yma o'i barchedigaeth."* Dyma'r annogaeth a roddodd Haman, trwy ddychymmygiad o fod i'r cwbl gael ei wneuthur iddo ef. Wedi dywedyd o hono hyn, y brenin a foddhawyd â'r cyngor, ac a ddywedodd wrtho, "Dos di gan hynny, canys gennyt y mae'r march, y wisg, a'r gadwyn; ymofyn am Mordecai yr Iuddew, a dyro iddo ef y pethau hyn: a cherdda o flaen ei farch, a chyhoedda megis y lleferaist; canys ti yw fy mhrif-gyfaill, ac a roddaist gyngor da i mi. Bydd di gan hyn-

*Esther vi. 6—9.

ny yn weinyddwr yr hyn a gynghoraist; canys hyn a fydd ei wobr ef, am gadw fy mywyd." Wrth glywed y gorchymmyn hwn, ag oedd yn hollol annisgwyliadwy, efe a derfysgwyd yn ei feddyliau, heb wybod pa beth i'w wneuthur. Pa fodd bynnag efe a aeth allan, ac a arweiniodd y march, gan gymmeryd y wisg borphor, a'r gadwyn aur i'r gwddf: ac wedi cael Mordecai o flaen y porth mewn gwisg o sachliain, efe a barodd iddo ei diosg hi.

Ond Mordecai heb wybod gwirionedd yr achos, ond gan feddwl mai mewn gwawd neu ddirmyg yr ydoedd, a lefarodd wrtho, "O tydi adyn truenus, y gwaethaf o holl ddynolryw; ai fel hyn yr ydwyt yn chwerthin am ben ein trallodion?" Ond wedi cael boddlonrwydd mai'r brenin oedd yn gorchymmyn i'r anrhydedd hwn gael ei gyfrannu, am y waredigaeth a ddigwyddasai iddo yngnghyhuddiad yr eunuchiaid a fradwriaethasai i'w erbyn; efe gan hynny a roddodd am dano y wisg borphor a arferai y brenin bob amser; ac a ddododd y gadwyn am ei wddf; gan farchogaeth ar y march, a myned o amgylch y ddinas, tra'r oedd Haman yn myned o'r blaen, ac yn cyhoeddi, "Hyn a fydd yn wobr a gyfranna'r brenin i'r cyfryw un y mae yn ei hoffi, ac yn ei gyfrif yn deilwng o anrhydedd." Ac wedi myned o honynt o amgylch y ddinas, Mordecai a aeth i mewn at y brenin. Ond Haman a aeth adref gan gywilydd; ac adroddodd i'w wraig a'i gyfeillion yr hyn a fuasai, a hynny gyd â thywallt dagrau. Wrth yr hyn y dywedasant, na allai fyth ymddial ar Mordecai; am mai Duw oedd gyd ag ef.*

Yn awr, tra'r oedd ei gyfeillion yn ymddiddan â'u gilydd, eunuchiaid Esther a ddaethant i frysio Haman ymaith i fyned i'r wledd. Ond un o'r eunuchiaid, a elwid Sabuchadas, a ganfu y crogbren a osodasid i fynu yn nhŷ Haman, ac a ymofynnodd âg un o'r gweision i ba bwrpas y parottoisent ef? Felly efe a wybu mai i ewythr y frenhines yr ydoedd; o herwydd fod ynghylch gwneuthur ei ddeisyfiad at y brenin am ei farwolaethu ef. Ond yn bresennol efe a adawsai a sôn. Yn awr, pan ydoedd y brenin gyd â Haman yn cydwledda, dymunodd y brenin ar y frenhines i ddywedyd iddo, pa rodd yr ydoedd yn ei chwennych ganddo; gan sicrhau iddi y derbyniai pa beth bynnag a feddyliai am dano. Yna hi alarodd oblegid y perygl yr oedd ei phobl ynddo; ac a ddywedodd ei bod hi a'i chenedl wedi en rhoddi i fynu i'w difetha: a'i bod hi ar y cyfrif hwnnw yn gwneuthur ei herfyniad presennol atto. Na fuasai ar y cyfrif hwn yn ei flino pe gwerthasid hwynt i fod yn gaethion; canys ni fuasai y cyfryw anhap yn hollol annioddefol. Ond hi ddeisyfodd am waredigaeth rhag y distryw a fwriadasid iddynt. A phan ofynnodd y brenin iddi pwy oedd awdwr y trueni a fygythid arnynt? Hi yn ebrwydd a gyhuddodd Haman; ac a'i hargyhoeddodd, mai efe oedd yr offeryn drygionus o hyn; a'r hwn a ffurfiodd y bradwriaeth yma i'w herbyn. Wedi i'r brenin ar hyn gythruddo, a myned gyd â brys allan o'r wledd-stafell i'w ardd, Haman a ddechreuodd eiriol ar y frenhines, ac attolygu iddi faddeu iddo yn yr hyn yr oedd wedi troseddu; canys efe a ganfu ei fod mewn cyflwr drwg iawn. Ac fel yr oedd wedi syrthio ar wely'r frenhines, gan ymbil â hi am ei fywyd, y brenin a ddaeth i mewn; ac wedi ei gynnyrfu yn ychwaneg wrth yr hyn a welodd, "O tydi ddrygddyn!" eb efe, "yr atgasaf o bob dynion! a ydwyt yn amcanu treisio fy ngwraig?" A Haman yn rhyfeddu wrth hyn, ac heb allu dywedyd un gair yn rhagor, Sabuchadas yr eunuch a ddaeth i mewn, gan gyhuddo Haman; ac a ddywedodd weled o hono grogbren o ddeg cufydd a deugain o uchder yn ei dŷ, wedi ei barottoi i Mordecai; yr hyn a ddarfu i'w wasanaeth-ddyn fynegi ar ei ofyniad iddo, pan anfonwyd ef i gyrchu Haman i'r wledd. Pan glybu'r brenin hyn, efe a benderfynodd gospi Haman yn yr un dull ag a fwriadasai efe wneuthur â Mordecai. Felly efe a orchymmynodd yn ddigyfrwng ei grogi ef ar ei ddihenyddbren, a thrwy hwnnw ei roddi i farwolaeth.† Ac oddiwrth hyn ni allaf lai na rhyfeddu Duw; a dysgu cydnabod ei ddoethineb a'i gyfiawnder; nid yn unig yn cospi drygioni Haman; ond ei drefnu felly fel yr elai ei

* Esther vi. 13.

† Esther vii. 16.

hun tan yr un gospedigaeth ag a luniasai efe i arall. Megis hefyd ei fod wrth hynny yn dysgu y wers hon i ni; fod y niweid a fwriader gan ryw un i arall, heb wybod iddo, yn cael ei lunio yn bennaf yn ei erbyn ei hun.

O herwydd pa ham Haman, yr hwn yn anghymmedrol a gam-ddefnyddiodd yr anrhydedd a gawsai gan y brenin, a ddifethodd ei hun yn y modd yma; a'r brenin a barodd i'r frenhines feddiannu ei etifeddiaeth. Efe hefyd a alwodd am Mordecai (canys Esther a amlygasai am ei pherthynas iddo;) ac efe a roddes iddo ef y fodrwy a roddasai gynt i Haman. Y frenhines hefyd a roddodd etifeddiaeth Haman i Mordecai; gan erfyn ar y brenin i waredu cenedl yr Iuddewon rhag yr ofn o farwolaeth; ac a ddangosodd iddo yr hyn a 'sgrifenasid trwy'r holl wledydd gan Haman, fab Ammedatha: oblegid os rhoddid ei chydwladwyr i farwolaeth, nis gallai hi oddef byw yn hwy. Felly y brenin a addawodd na wnai ddim yn anghyttunol â'i meddwl hi, na gwrthwynebu yr hyn a ddymunai; ond efe a barodd iddi ysgrifennu yr hyn a welai hi yn dda ymherthynas i'r Iuddewon, a'i selio â sêl y brenin; a'u danfon tros ei holl deyrnas; canys fe fyddai i rai a ddarllenai epistolau wedi eu sicr awdurdodi â sêl y brenin wrthynt, ochelyd gwrthwynebu yr hyn a 'sgrifennid ynddynt. Felly efe a orchymmynodd anfon am ysgrifenyddion y brenin, ac ysgrifennu at y cenhedlaethau ar gyfrif yr Iuddewon; ac at ei raglawiaid a'i lywodraethwyr ar y cant a saith ar hugain o daleithiau, o India hyd Ethiopia. Yn awr, cynnwysiadau yr epistol hwn ydoedd fel y canlyn:* "Y brenin mawr Artaxerxes at ein llywodraethwyr, a'r rhai sydd ddeiliaid ffyddlon i ni, annerch: Am ryw ddynion sydd, y rhai ar gyfrif godidowgrwydd y breintiau a gyfrannir iddynt, ac o herwydd yr anrhydedd a gawsant trwy ymddygiad caredig eu cymmwynaswyr; ydynt nid yn unig yn drygu eu hîs-raddau; ond ni rusant wneuthur drwg hefyd i'w pennaduriaid, pa rai y derbyniasant fudd oddiwrthynt; megis pe baent am ddiddymmu tymmer ddiolchgar o blith dynion. A thrwy eu trahaus gam-arferiad o roddion na ddisgwyliasant erioed am danynt, maent yn troi i ddefnyddio yr amldra sydd ganddynt yn erbyn y rhai sydd awdwyr o honynt: ac yn meddwl eu bod yn gnddiedig oddiwrth Dduw yn y cyflwr hwnnw, a diangc rhag y gospedigaeth sy'n dyfod oddiwrtho ef. Rhai o'r dynion hyn pan ymddiriedir trefniad achosion cyffredin iddynt gan eu pennaethiaid, ac â chanddynt ddirgel falais tu ag at eraill, trwy dwyllo y rhai a fïau'r awdurdod, a'u perswadiant i ddigofaint yn erbyn y rhai na wnaeth ddim niweid iddynt, nes eu bod mewn perygl o gael eu difetha, a hynny trwy gyhuddiad anwireddus ac enllib. Ac ni chanfyddir y pethau hyn yn unig mewn siamplau boreuol, neu'r fath ag a ddysgasom eu gwybod yn unig trwy hanes; ond trwy siamplau o'r fath ryfyg digywilydd yn ein golwg ein hun; fel nad yw'n gymmwys gwrando mwy ar enllibiau a chelwyddog gyhuddiadau, neu i berswadiad gan eraill; ond i benderfynu'r hyn a wyppo rhyw un o hono ei hunan ei fod wedi ei sicr gyflawni; a chospi'r hwn ag sy'n ei gyfiawn haeddu, ac i ganiattau ffafr i rai diniweid a gwirion. Hyn a fu ymddygiad ac amgylchiad Haman, fab Ammedatha, trwy anedigaeth yn Amaleciad, ac alltud oddi wrth waed y Persiaid: yr hwn, wedi cyfrannogi o'n haelioni, a mwynhau y cymmwynasgarwch ag a ddangoswn i raddau pell tu ag at bawb, fel ag y galwant ni eu tad, a anrhydeddwyd ac a ymgrymmwyd iddo, megis y nesaf mewn graddau i'r anrhydedd brenhinol dyledus i ni ein hun, ni fedrai fwynhau ei ddedwyddwch, na llywodraethu helaethrwydd ei lwyddiant gyd â chymmedroldeb rhesymmol. Nag ê, efe a fradwriaethodd yn fy erbyn fy hun, yr hwn a roddaswn iddo ei awdurdod; trwy ymdrechu i

* Y gwir reswm pa ham na ddarfu i'r brenin Artaxerxes alw yn ol ei orchymmyn barbaraidd yn union-gyrch, ynghylch lladdiad cyffredinol yr Iuddewon; eithr yn unig awdurdodi a chefnogi yr Iuddewon i ymladd dros eu bywydau, a lladd eu gelynion, os cynnygient eu dinystr hwynt, a ymddengys ei fod yn ol cyfraith hynafol y Mediaid a'r Persiaid, pa un na roddasid etto o'r neilldu; mai pa orchymmyn bynnag y dodid enwau y brenin a'i arglwyddi wrtho, na ellid ei gyfnewid, ond a ydoedd yn aros yn anghyfnewidiol, Dan. vi. 6, 7, 8, 9, 12, 15, 17. Esth. i. 19. viii. 8. Ac a Haman yn rhyfygu ar y ffafr frenhinol, fe allai, ysgatfydd, iddo ei hun arwyddo ei enw wrth y weithred o orchymmyn lladdiad yr Iuddewon, yn lle yr amrywiol arglwyddi megis cynt; ac felly ei wneuthur, yn ol eu rheol hwy, yn anghyfnewidiol.

gymmeryd ymaith Mordecai, fy nghymmwynaswr a'm gwaredwr; a thrwy gynnyg bradychu Esther, cydmares fy mywyd, a dwyn dinystr ar fy llywodraeth. Canys efe a arfaethodd trwy'r moddion hyn fy * nifuddio o'm cyfeillion ffyddlonaf, a throsglwyddo'r llywodraeth i eraill. Ond cyn gynted ag y deallais nad oedd yr Iuddewon a amcanwyd eu difetha gan y dyn drygionus hwn, yn genedl annuwiol, ond yn arwain eu bywydau yn y modd goreu, ac yn ddynion wedi eu neillduo at wasanaeth Duw, yr hwn a gadwodd y deyrnas i mi a'm hynafiaid; nid wyf yn unig yn eu rhyddhau oddiwrth y gospedigaeth ag oedd yr epistol blaenorol, yr hwn a anfonasid gan Haman, yn ei osod arnynt; i ba un os pallwch roddi ufudd-dod, da y gwnewch: ond fy ewyllys i ydyw i bob anrhydedd gael ei ddangos iddynt. O herwydd pa ham, myfi a ddihenyddiais y dyn a ddyfeisiodd y fath bethau yn eu herbyn, ynghyd â'i deulu, o flaen pyrth Shushan; yr hwn ddistryw a ddanfonasid arno gan Dduw ag sydd yn chwilio pob peth. Ac yr wyf yn rhoddi hyn tan eich gofal, ar fod i chwi anfon copïau o'r epistol yma i'w cyhoeddi trwy fy holl deyrnas, fel y caniattaer i'r Iuddewon yn heddychlon arferyd eu cyfreithiau eu hunain; a bod i chwi wneud cynnorthwy iddynt: a bod ar yr amser y pennodwyd eu difetha hwynt, iddynt amddiffyn eu hunain yn yr un dydd oddiwrth drais anghyfiawn a gynnygir iddynt, sef, y trydydd dydd ar ddeg o'r deuddegfed mis, yr hwn yw Adar. Canys Duw a wnaeth hwnnw yn ddydd o iachawdwriaeth, yn lle dydd o ddinystr iddynt. A bydded yn ddydd o ddaioni i'r rhai a ewyllysiant yn dda i ni; ac yn goffadwriaeth o'r brâd a amcanwyd i'n herbyn. A'm hewyllys yw i chwi gymmeryd sulw, am bob dinas, a phob cenedl a anufuddhao i un peth a gynnwysir yn y bennod hon, ar iddynt gael eu difetha trwy dân a chleddyf. Pa fodd bynnag, cyhoedder yr epistol yn yr holl wledydd sydd tan ein hufudd-dod; a bydded i'r holl Iuddewon, ym mhob modd, ymbarottoi erbyn y diwrnod rhagddywededig; fel y dïalont eu hunain ar eu gelynion."

Yn ganlynol, y marchogwyr a ddygasant yr epistolau, a aethant gyd â chyflymdra ar hyd y ffyrdd yr oeddynt i fyned. Eithr am Mordecai, cyn gynted ag yr ymwisgodd â'r wisg frenhinol, a'r goron aur, a dodi 'r gadwyn aur am ei wddf, efe a aeth allan mewn rhodfa gyhoeddus. Ac wedi i'r Iuddewon oedd yn Shushan ei weled mewn cymmaint anrhydedd gyd â'r brenin, edrychasant ar ei ddedwyddwch fel eu cyffredin gyfran eu hunain hefyd, a llawenydd a llewyrch iachawdwriaeth a amgylchynodd yr holl Iuddewon, sef y rhai oedd yn y dinasoedd, a'r rhai oedd trwy'r wlad, ar gyhoeddiad llythyrau 'r brenin, yn gymmaint ag i lawer o genedlaethau eraill enwaedu eu hunain rhag ofn yr Iuddewon, fel y diogelent eu hunain trwy hynny. Canys ar y trydydd dydd ar ddeg o'r deuddegfed mis, yr hwn gan yr Hebreaid a elwir Adar, ond gan y Macedoniaid Dystrus, y rhai a ddygent epistol y brenin a roisant hyspysrwydd iddynt, mai yn yr un dydd ac yr oeddid yn peryglu eu bywydau, felly ar y dydd hwnnw y difethent eu gelynion. Ond yn awr llywodraethwyr y taleithiau, y rhaglawiaid, a'r brenhinoedd, a'r 'sgrifenyddion oeddynt a'r Iuddewon mewn parch ganddynt. Canys yr ofn ag oeddynt ynddo oblegid Mordecai a'n cymhellodd i weithredu gyd â challineb. Yn awr, wedi dyfod y gorchymmyn brenhinol i bob gwlad ag oedd tan lywodraeth y brenin, yr Iuddewon yn Shushan a laddasant bum cant o'u gelynion. Ac wedi i'r brenin fynegi i Esther nifer y rhai a laddasid yn y ddinas honno; ond heb wybod yn iawn am yr hyn a wnaethid yn y taleithiau; efe a ofynnodd iddi a oedd un peth ymhellach a chwennychai wneuthur yn eu herbyn? oblegid y gwnaed ef yn ganlynol. Ar yr hyn hi ddymunodd ganiattau i'r Iuddewon wneud yr un driniaeth â gweddill eu

* Y geiriau hyn sy'n rhoddi arwydd, fod Artaxerxes yn dychymmygu dyfnach amcan yn Haman, nac a ymddangosodd yn amlwg: sef, mai gan wybod y byddai'r Iuddewon yn ffyddlon i'r brenin, ac na allai efe symmud y goron i'w deulu ei hun, yr hwn ydoedd yr Agagiad, Esth. iii. 1, 10. neu o hiliogaeth Agag, hen frenin yr Amaleciaid, 1 Sam. xv. 7, 32, 33. tra'r oeddynt yn fyw, ac wedi ymdaenu dros ei lywodraeth, efe a ymdrechodd gan hynny i'w difetha hwynt. Ac nid yw annhebyg genyf fi, am y 75,000 a ddifethwyd ó elynion yr Iuddewon, trwy ganiattad y brenin, yr hyn oedd raid ei ddigwydd ar achos neillduol, mai Amaleciaid oeddynt, eu hen wreiddiol elynion, Exod. xvii. 14, 15, ac mai trwy hynny y cyflawnwyd Prophwydoliaeth Balaam, "Dechreu'r cenhedloedd yw Amalec; a'i ddiwedd fydd darfod am dano byth," Num. xxiv. 20.

gelynion y dydd nesaf; megis ar fod iddynt hefyd ddihenyddio deg mab Haman ar y crogbren. Felly y brenin a ganiattaodd i'r Iuddewon wneuthur hynny, megis heb ewyllysio gwrthwynebu dymuniad Esther. Felly hwy a ymgasglasant eu hunain ynghyd drachefn ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis Distrus, ac a laddasant ynghylch tri chant o'u gelynion; ond ni chyffyrddasant â dim o'u cyfoeth. Yn awr fe laddwyd gan yr Iuddewon oedd yn y wlad, ac yn y dinasoedd eraill bymtheng mil a thrugain o'u gelynion: a'r rhai hyn a laddesid ar y trydydd dydd ar ddeg o'r mis; a'r dydd nesaf a gadwasant yn ŵyl. Yn y cyffelyb fodd yr Iuddewon ag ydoedd yn Shushan, a ymgynnullasant ac a gydwleddasant ar y pedwerydd dydd ar ddeg, a'r un canlynol. Oddiwrth yr hyn yn awr y mae'r holl Iuddewon trwy'r gwledydd cyfanneddol yn cadw yn ŵyl y dyddiau hynny, ac yn danfon anrhegion i'w gilydd. Mordecai hefyd a ysgrifennodd at yr Iuddewon oedd yn preswylio yn nheyrnas Artaxerxes, i wneud sulw o'r dyddiau hyn, a'u cadw yn ŵyl barchedig, gan eu traddodi i wared i'w hiliogaeth; fel y parhäi yr ŵyl hon yn eu plith tros yr holl amserau i ddyfod; ac na chladdid mo hono fyth yn guddiedig o'r golwg. Canys pan oeddynt yngylch cael eu difetha gan Haman, da y gwnaent, wedi diangc oddi ar y perygl hwn, a dychwelyd cospedigaeth ar eu gelynion, i sylwi ar y dyddiau hyn, a dangos diolchgarwch i Dduw ynddynt. O herwydd pa achos y mae'r Iuddewon fyth yn cadw y diwrnodiau rhaggrybwylledig, ac yn eu galw yn * ddyddiau y pwrim. A Mordecai a aeth yn ŵr mawr a chymmeradwy gyd â'r brenin, ac yn gynnorthwy iddo yn llywodraethiad y bobl. Efe hefyd oedd yn byw gyd â'r frenhines. Felly matterion yr Iuddewon, trwy'r moddion o honynt hwy, a ddaethant yn well nag a allasent fyth eu disgwyl. A hyn ydoedd cyflwr yr Iuddewon tan deyrnasiad Artaxerxes.†

## PENNOD VII.

*Am lofruddiad Iesu gan ei frawd Ioan yn y deml; ac am y niweid a gynnygiwyd i'r Iuddewon gan Bagoses; a'r hyn a wnaethpwyd gan Sanbalat.*

WEDI marw Eliashib yr archoffeiriad, ei fab Judas a'i dilynodd yn yr archoffeiriadaeth. Ac wedi ei farw ef, ei fab Ioan a feddiannodd yr uchel-fraint honno. Ar gyfrif pa un y bu i Bagoses, blaenor llu Artaxerxes ‡ arall, halogi y deml, a gosod teyrnged ar yr Iuddewon; fel, allan o'r trysor cyffredin, cyn offrymmu o honynt yr aberth beunyddiol, y talent tros bob rhyw oen ddeg sicl a deugain. Yn awr, Iesu oedd frawd i Ioan, ac yn gyfeillgar â Bagoses, yr hwn a addawsai fynnu iddo yr archoffeiriadaeth. Mewn hyder o hyn, cymmerodd Iesu achlysur i ymrafaelio â'i frawd Ioan yn y deml, ac a'i digiodd cyn belled ag iddo yn ei wylltineb ei ladd ef. Yn awr, yr ydoedd yn beth echryslon i Ioan,

* Cymmerwch nôd Reland ar y pwngc dadleugar hwn. "Ynghopiau Josephus, y geiriau Hebraeg yma Pwrim, neu Goelbrennau, megis ynghopi Groeg llyfr Esther, ix. 26, 28, 29, 31, 32, a elwir dyddiau Phwrim, neu Amddiffynniad; ond a ddylant fod Dyddiau y Pwrim, megis yn yr Hebraeg. Na'r cyfryw ddiwygiad ni all fod dim yn gymmwysach." A phe buasai gennym sicrwydd fod copi Josephus yn crybwyll am fwrw coelbrennau, fel y gwna ein copiau ni, Esth. iii.7, buaswn yn hollol gyttuno â Reland; ond fel y mae yn awr yn sefyll, ni ymddengys i mi mewn un modd yn sier.

† Ymherthynas i holl lyfr Esther yn y copi Hebraeg presennol, y mae mor amherffaith, mewn amgylchiad ag yr oedd rhagluniaeth Duw yn gweithredu mor hynod; fel na welir gymmaint a chrybwylliad am enw Duw ynddo: ac y mae yn anhawdd dywedyd pwy a wnaeth y talfyriad hwnnw a draddododd y Masoreaid i ni, am y gwir lyfr ei hun. Ni allai dim Iuddewon crefyddol, gyd â chyssondeb, fod yn awdwyr o hono; egwyddorion pa rai oedd yn eu rhwymo i olygu yn barchus enw Duw a'i addoliad yn wastadol: ac nid ydym yn deall fod copi mor ammherffaith o hono yn y byd, cyn dyddiau Barchocab, yn yr eilfed ganrif.

‡ Ymherthynas i'r Artaxerxes hwn, a elwid Mnemon, ynghyd a blinderau y Persiaid, a chaethiwed yr Iuddewon tano, trwy'r achos o lofruddiad brawd yr archoffeiriad yn y tŷ sanctaidd, gwel yn Saesonaeg Authen. Rec. yn helaeth, t. d. 49, 50, 116----161. Ac os rhyfedda neb pa ham y gadawodd Josephus o'r neilldu 'y gweddill o frenhinoedd Persia, ar ol Artaxerxes Mnemon, nes ei ddyfod at eu brenin diweddaf, Darius, yr hwn a orchfygwyd gan Alexander Fawr; rhoddaf iddynt attebiad Vossius a Dr. Hudson, yn fy ngeiriau fy hun: sef, Na wnaeth Josephus o'i le yn gadael o'r neilldu frenhinoedd Persia â pha rai ni fu i'r Iuddewon un math o berthynas; ac am mai hanes yr Iuddewon yr oedd efe yn ei olrhain, ac nid y Persiaid. Yr hwn sydd reswm digonol hefyd, pa ham y mae'n gwbl ddistaw am lyfr a hanes Job, megis ei fod heb berthynas ganddo â'r genedl honno. Y mae efe yn uniawn, gan hynny, yn dychwelyd at achosion yr Iuddewon, yn ol marwolaeth Longimanus, heb grybwyll dim am Darius II, cyn Artaxerxes Mnemon, neu am Ochus, neu Arogus, fel y mae Canon Ptolemy yn eu henwi hwynt, ar ei ol. Ac ni buasai ysgatfydd yn crybwyll yr Artaxerxes arall hwn, pe na ddarfuasai i Bagoses, un o'r llywodraethwyr a'r blaenoriaid tano ef gymmeryd achlysur i halogi'r deml Iuddewig, ac a flinodd yr Iuddewon yn fawr trwy'r halogiad hwnnw. Ond etto pa mor bell yw'r dysgawdwyr hyn oddiwrth wirionedd, y rhai oddiwrth adawiad heibio y fath bethau yn Josephus, sy'n casglu ei fod yn anadnabyddus o deyrnasiad y brenhinoedd hynny a adawodd ar ol; a chyd â'r Iuddewon presennol sy'n byrhau amser teyrnasiad y Persiaid. Canys yr oedd Josephus mewn gwirionedd mor bell oddiwrth leihau, ac iddo estyn ei barhad, a hynny ddim yn llai na 38 neu 39 o flynyddau.

ac yntau yn archoffeiriad, ladd ei frawd; yr oedd yn weithred mor echryslon, na ddangoswyd y fath greulonder a throsedd gan Roegiaid na Barbariaid. Pa fodd bynnag, ni esgeuluswyd ei gospi gan Dduw. Ond y bobl ar y cyfrif hynny a gaethiwyd, a'r deml a halogwyd gan y Persiaid. Yn awr, pan wybu Bagoses, penciwdawd llu Artaxerxes, ddarfod i Ioan, archoffeiriad yr Iuddewon, ladd ei frawd Iesu yn y deml; efe a ddaeth ar warthaf yr Iuddewon yn ddisymmwth; ac a ddechreuodd lefaru wrthynt mewn digter, "A feddiannwyd chwi â'r digywilydd-dra o wneuthur llofruddiad yn eich teml?" Ac fel yr oedd yn amcanu myned i'r deml, hwythau a waharddasant iddo. Eithr efe a ddywedodd, "Onid wyf fi yn burach na'r hwn a laddwyd yn y deml?" Ac wedi iddo ddywedyd y geiriau hyn efe a aeth i mewn i'r deml. Yn ganlynol, Bagoses a wnaeth ddefnydd o'r esgus hwn; ac a gospodd yr Iuddewon saith mlynedd oblegid llofruddiad Iesu.

Yn awr, wedi marwolaeth Ioan, ei fab Jadua a ddilynodd yn yr archoffeiriadaeth. Yr oedd iddo ef frawd a'i enw Manasseh. Ac yr ydoedd un* Sanbalat, yr hwn a anfonwyd gan Darius, brenin diweddaf Persia, i Samaria. Cuthead oedd efe o genedl; o ba heppil yr ydoedd y Samariaid hefyd. Y gwr hwn a wyddai am Jerusalem ei bod yn ddinas enwog; a darfod i'w brenhinoedd flino llawer ar yr Assyriaid, a thrigolion Cœlesyria. Felly darfu iddo yn ewyllysgar roddi ei ferch, enw yr hon oedd Nicaso, yn briod i Manasseh: gan feddwl y byddai i'r ymgyssylltiad hwn trwy briodas fod yn wystl o ddiogelwch am barhad ewyllys da y genedl Iuddewig tu ag atto.

## PENNOD VIII.

*Am Sanbalat a Manasseh, a'r Deml a adeiladasant ym mynydd Gerizzim; hefyd am fuddugoliaeth Alexander; dyfodiad ei luoedd i mewn i ddinas Jerusalem; a'r cymmwynasau a gyfrannodd efe i'r Iuddewon.*

YNGHYLCH yr† amser hwn, Philip, brenin Macedon, a ymosodwyd arno yn fradychlyd, ac a laddwyd yn Ægeæ, gan Pausanias, mab Cerastes; yr hwn a darddodd o deulu Orestæ. Ei fab Alexander a'i dilynodd yn y teyrnasiad: a chan fyned tros yr Hellespont, a orchfygodd flaenoriaid lluoedd Darius, mewn brwydr a ymladdwyd yn Granicum. Felly efe a aeth ym mlaen tros Lydia, ac a ddarostyngodd Ionia; ac wedi goresgyn Caria, efe a syrthiodd ar fannau o Pamphylia.

Ond â henuriaid Jerusalem yn dra anesmwyth o herwydd bod brawd Jadua yr archoffeiriad, er ei fod wedi ei briodi ag un o genedl ddieithr, yn cydgyfrannogi ag ef o'r archoffeiriadaeth; ac wrth hynny hwy a ymrafaelasant ag ef. Canys hwy a gyfrifasant briodas y gwr hwn yn llwybr i'r rhai a ewyllysient droseddu yn eu hymgyssylltiad â gwragedd dieithr; ac y byddai hyn yn ddechreuad eu cydgyfeillachiad â dieithriaid, er darfod i drosedd rhai ynghylch priodasau, a thrwy gymmeryd gwragedd heb fod o'u gwlad eu hunain, fod yn achos o'u caethiwed gynt; ac o'r trallodion yr aethant tanynt. Felly hwy a archasant i Manasseh ysgar â'i wraig, neu beidio agosâu i'r allor: a'r archoffeiriad ei hun yn cydsynio â'r bobl, yn eu hymddadleuaeth yn erbyn ei frawd, gan ei yrru ef ymaith oddiwrth yr allor. Ar hynny Manasseh a ddaeth at ei dad-ynghyfraith, Sanbalat; ac a ddywedodd wrtho, "Mai er ei fod yn caru ei ferch Nicaso, etto nid oedd foddlon i ymadael â'i raddau offeiriadol ar ei chyfrif hi, yr hyn oedd y graddau uwchaf yn eu gwlad hwy, ac yn aros bob amser yn yr un teulu." Ond Sanbalat a addawodd nid yn unig gadw iddo anrhydedd yr offeiriadaeth, ond i sicrhau iddo'r awdurdod a'r dyrchafiad o archoffeiriadaeth; a'i osod yn llywodraethwr yr holl fannau yr oedd efe ei hun yn ben arnynt, os cadwai efe ei ferch yn wraig iddo. Efe hefyd a ddywedodd ymhellach, yr adeiladai iddo deml, gyffelyb i

* Llawer a dybiasant yn egwan oddi yma, fod y Sanbalat hwn tan y Darius diweddaf, yn cael ei gydgymmysu â Sanbalat yr Horoniad yn Nehemiah xiii. 8, tan Xerxes neu Artaxerxes Longimanus, yr hwn oedd yn byw, yn ol amseryddiaeth Josephus, ynghylch 120 o flynyddau o'i flaen ef. Y fath gamsyniad hawdd ei ganfod, sy'n brin yn haeddu ei wrthddywedyd; ac yn unig yn faddeuol ar gyfrif camsyniad blaenorol yr unrhyw berson, ymherthynas i barhad brenhiniaeth y Persiaid yn gyttun â thybiau Josephus, yn awr a grybwyllwyd ac a wrthddywedwyd.

† Bl. 336.

honno yn Jerusalem, ar fynydd Gerizzim; yr hwn yw'r uchaf o'r holl fynyddau yn Samaria; ac efe a addawodd wneuthur hyn trwy gydsyniad Darius y brenin. Manasseh a dderchafwyd â'r addewidion hyn, ac a arhosodd gyd â Sanbalat; wrth feddwl yr ynnillai yr archoffeiriadaeth wedi ei sefydlu iddo gan Darius. Canys fe ddigwyddodd fod Sanbalat y pryd hynny mewn blynyddau oedrannus. Ond yr oedd yn awr derfysg mawr ym mhlith pobl Jerusalem, oblegid fod llawer o'r offeiriaid a'r Lefiaid hynny wedi ymrwymo yn y fath briodasau. Canys hwy a ddychwelasant ar ol Manasseh; a Sanbalat yn eu diwallu ag arian; ac a rannodd dir rhyngddynt i'w lafurio, a'i breswylio hefyd: a hynny oll mewn trefn i foddloni ei fab-ynghyfraith.

Ynghylch y * pryd hwn clybu Darius fod Alexander wedi dyfod tros yr Hellespont, a gorchfygu o hono bennaethiaid ei fyddinoedd mewn brwydr yn Granicum; a'i fod yn myned ymhellach ym mlaen. Ar yr hyn y casglodd fyddin o wŷr traed a meirch; ac a benderfynodd roddi cyfarfod i'r Macedoniaid, cyn iddynt ymosod ar, a chongcwerio holl Asia. Felly efe a aeth tros yr afon Euphrates; ac a ddringodd tros Taurus, mynydd Cilicia, ac yn Issus Cilicia efe a ddisgwyliodd am y gelyn, yn barod i ymladd ag ef. Yn awr, yr ydoedd yn dda gan Sanbalat ddyfod Darius i wared; ac a ddywedodd wrth Manasseh y cyflawnai ei addewidion iddo, mor gynted ag y dychwelai Darius yn ol, wedi curo ei elynion. Canys nid yn unig efe, ond y rhai oll oedd yn Asia hefyd a berswadid na fyddai i'r Macedoniaid gymmaint a dyfod i frwydr â'r Persiaid o herwydd eu lliosowgrwydd. Ond y canlyniad a brofodd yn wrthwyneb i'w disgwyliad hwy. Canys y brenin wedi ymgyssylltu mewn brwydr â'r Macedoniaid a gurwyd, ac a gollodd ran fawr o'i fyddin. Ei fam hefyd, gyd â'i wraig, a'i blant, a gymmerwyd yn gaethion, ac yntau a ffodd i Persia. Felly Alexander a ddaeth i Syria, ac a gymmerodd Damascus; ac wedi cael meddiant o Sidon, efe a warchaeodd ar Tyre. Yna efe a ddanfonodd epistol at yr archoffeiriad Iuddewig; gan ofyn iddo am anfon cynnorthwyon, a diwallu ei fyddin ag angenrheidiau: a'r cyfryw anrhegion a ddanfonasai gynt i Darius, fod iddo anfon y cyffelyb yn awr iddo ef; a gwneud dewisiad o ewyllys da y Macedoniaid; gan na fyddai iddo fyth edifarhau am wneuthur felly. Ond yr archoffeiriad a attebodd i'r negeseuwyr, wneuthur o hono lw i Darius, i beidio codi arfau yn ei erbyn: ac a ddywedodd na throseddai, tra fyddai Darius ar dir y rhai byw. Wrth glywed hyn Alexander, ydoedd dra digllon; ac er penderfynu o hono na adawai Tyre, yr hon oedd agos i'w chymmeryd; etto cyn gynted ag y cymmerodd hi; efe a fygythiodd wneuthur ymgyrch yn erbyn yr archoffeiriad Iuddewig, a thrwyddo ef ddysgu i bob dynion wybod i bwy y dylent gadw eu llwon. Felly yn ol iddo, gyd â llawer o boen gymmeryd Tyre, a sefydlu ei matterion, efe a ddaeth i ddinas Gaza, ac a warchaeodd ar y ddinas, a'r hwn oedd lywodraethwr yr amddiffynfa, enw 'r hwn oedd Babemeses.

Ond Sanbalat a dybiodd fod cyfleusdra ganddo yn awr i gynnyg myned a'i amcan ym mlaen; felly efe a ymwrthododd â Darius; a chan gymmeryd gyd ag ef saith mil o'i ddeiliaid ei hun, efe a ddaeth at Alexander; a chan ei gael yn dechreu ar gynllwyniad Tyre, dywedodd wrtho ei fod yn rhoddi i fynu y dynion hynny, y rhai a ddygasai gyd ag ef o amrywiol barthau ei lywodraeth, iddo ef; ac yn llawen yn ei gydnabod yn frenin arno, yn lle Darius. Felly wedi i Alexander ei dderbyn yn garedig, Sanbalat wrth hynny a gefnogodd, ac a lefarodd wrtho ynghylch ei achosion presennol. Dywedodd wrtho fod ganddo fab-ynghyfraith, Manasseh, yr hwn oedd frawd i'r archoffeiriad Jadua; a bod amryw eraill o'i genedl ei hun yn awr gyd ag ef; a bod dymuniad ganddynt i gael teml wedi ei hadeiladu mewn lle darostyngedig iddo ef: y byddai er mantais i'r brenin i gael nerth yr Iuddewon wedi ei wahanu yn ddwy ran; rhag trwy fod y genedl o'r un feddwl, ac yn gyssylltiedig, ar ryw ymgynnygiad o gyfnewid trefniadau'r llywodraeth, y profont yn flinder i frenhinoedd, megis y darfu iddynt o'r blaen i frenhinoedd Assyria.

* Bl. 331.

Ar hyn Alexander a ganiattaodd yn ol ei ddymuniad i Sanbalat; yr hwn a arferodd ddiwydrwydd mawr, ac a adeiladodd y deml, ym mha un y gosododd Manasseh yn offeiriad; gan ei gyfrif yn wobr mawr, fod i blant ei ferch feddiannu yr urddas hwnnw. Ond wedi i saith mis o warchae ar Tyre fyned trosodd, a dau fis o gynllwyniad Gaza, Sanbalat a fu farw. Yn awr, Alexander wedi cymmeryd Gaza, a frysiodd fyned i fynu i Jerusalem. A Jadua yr archoffeiriad, pan glywodd hynny, ydoedd mewn cyfyngder mawr a dychryn; megis heb wybod pa fodd i gyfarfod â'r Macedoniaid; gan ddigio o hono'r brenin trwy ei anufudd-dod. Efe gan hynny a ordeiniodd i'r bobl wneuthur eu hymbiliau, ac uno gyd ag ef i offrymmu aberthau i Dduw; yr hwn a erfyniodd arno am amddiffyn y genedl, a'u gwaredu oddiwrth y peryglon ag oedd yn dyfod arnynt. Duw, pa fodd bynnag, a'i rhybuddiodd trwy freuddwyd, yr hwn a ddaeth arno yn ol offrymmu yr aberth; am iddo ymwroli, addurno'r ddinas, ac agoryd y pyrth; bod i eraill ymddangos mewn gwisgoedd gwynion; ond fod iddo ef a'r offeiriaid gyfarfod â'r brenin yn y gwisgoedd perthynol i'w graddau, heb ofni dim canlyniadau niweidiol, y rhai a fyddai i ragluniaeth Duw eu rhagflaenu. Wedi cyfodi Jadua o'i weledigaeth, efe a lawenychodd yn fawr, ac a adroddodd i bawb y rhybudd a gawsai oddiwrth Dduw: ac wedi gwneuthur y cwbl yn gyfattebol i'w freuddwyd, efe a ddisgwyliodd am ddyfodiad y brenin.

Pan ddeallodd nad ydoedd Alexander ymhell oddiwrth y ddinas, efe a aeth allan mewn rhodfa reolaidd, gyd â'r offeiriaid, a lliaws y dinasyddion. Trefnusrwydd y rhodfa ydoedd barchus, a'r dull o hono yn amrywio oddiwrth genhedloedd eraill. Fe gyrhaeddodd hyd at le a elwid Sapha; yr hwn enw wedi ei gyfieithu i'r Groeg a arwydda Golygiad: canys oddiyno fe geir golwg ar Jerusalem a'r Deml. A phan feddyliodd y Phœniciaid a'r Caldeaid oedd yn ei ganlyn ef y caent ryddid i yspeilio'r ddinas, a dodi'r archoffeiriad i farwolaeth, yr hyn ag oedd yr anfoddlondeb a ddangosasai'r brenin (wrth ei attebiad blaenorol) yn ei addaw iddynt; yn y gwrthwyneb y digwyddodd. Canys fel yr oedd y lliaws i'w gweled o hirbell mewn gwisgoedd gwynion; yr offeiriaid wedi ymwisgo â lliain main; a'r archoffeiriad mewn gwisg o borphor ac ysgarlad, gyd â meitr am ei ben; ac a chanddo y ddwyfronneg aur, ar ba un yr oedd enw Duw yn argraphedig; Alexander a ddynesodd wrtho ei hun, ac a addolodd yr enw hwnnw, ac yn gyntaf a gyfarchodd yr archoffeiriad. Yr Iuddewon hefyd a gyd-gyfarchasant Alexander, gan sefyll o'i amgylch. Ar hyn, brenhinoedd Syria, ac eraill a ryfeddasant wrth yr hyn a wnaeth Alexander; ac a feddyliasant ddrysu o hono yn ei synhwyrau. Pa fodd bynnag, Parmenio yn unig aeth i fynu atto, ac a ofynnodd, Pa fodd y daeth o amgylch, pan oedd eraill yn ei addoli ef, ddarfod iddo yntau addoli archoffeiriad yr Iuddewon? I'r hwn yr attebodd, "Nid efe a addolais, ond y Duw hwnnw a'i hanrhydeddodd â'i barchus archoffeiriadaeth: canys gwelais y dyn hwn mewn breuddwyd pan oeddwn yn Dios, ym Macedonia. Yr hwn, pan oeddwn yn myfyrio pa fodd y gallwn feddiannu llywodraeth ar Asia, a'm cynghorodd nad oedwn ddim; ond yn galonnog i fyned tros y môr yno: oblegid y byddai iddo ef dywys fy myddin, a rhoddi i mi'r fuddugoliaeth ar y Persiaid. Oddi wrth hyn y mae, gan nas gwelais neb arall yn yr ymwisgiad hwnnw, a gweled o honof y dyn hwn ynddo, a chan gofio'r weledigaeth honno, a'r annogaeth a gefais ynddi, yr wyf yn credu fy mod yn myned a'r lluoedd hyn ym mlaen tan ddwyfol arweiniad, a chyd â hwynt y buddugoliaethaf ar Darius, gan ddifetha cryfdwr y Persiaid; ac y llwydda pob peth yn ol yr hyn a feddyliais.

Wedi iddo ddywedyd hyn i Parmenio, a rhoddi ei ddeheulaw i'r archoffeiriad, yr offeiriaid a gyd-redasant ag ef, ac a ddaethant i'r ddinas.* A phan aeth efe i fynu i'r deml, efe a offrymmodd

* Yr amser o'r flwyddyn ag y daeth Alexander i Jerusalem a ymddengys yn cael ei gywir benderfynu gan y Rabbiniaid yn Megilath Taamith; pan y maent yn cadw yr 21in o Casleu yn ŵyl, mewn coffadwriaeth o'u gorchfygrwydd ar y Samariaid yr amser hwn, megis y mae Reland yma yn hyspysu i ni. Gwelwch yr unrhyw draethawd, t. d. 56. Reland sydd yn hyspysu i ni ymhellach fod yr un llyfr yn dywedyd, fod yr Iuddewon pennaf mewn gwisgoedd gwynion; gyd ag amgylchiadau eraill cyttunol â Josephus.

aberthau i Dduw, yn ol cyfarwyddyd yr archoffeiriad: ac a wnaeth anrhegion ardderchog i'r archoffeiriad ynghyd a'r offeiriaid hefyd. A phan ddangoswyd iddo* lyfr y prophwyd Daniel, lle y tystia y deuai un o'r Groegiaid ag a ddifethai ymmerodraeth y Persiaid, barnodd mai efe ei hun oedd y person a fwriadid. Ac fel yr oedd yn llawen oblegid hynny, gollyngodd ymaith y dyrfa yn bresennol, ond y dydd nesaf efe a'u galwodd atto; ac a barodd iddynt ofyn y ffafr a ddewisent ganddo ef. Yn ganlynol, yr archoffeiriad a ddymunodd iddynt gael rhyddid i ddilyn rheol cyfreithiau eu hynafiaid, a bod heb dalu teyrnged ar y seithfed flwyddyn. Hyn yn rhwydd a ganiattawyd. A phan ddeisyfiasant arno ganiattâu i'r Iuddewon oedd yn Babilon a Media fwynhau eu cyfreithiau eu hunain hefyd, efe yn ewyllysgar a addawodd wneuthur, yn ol llaw, yr hyn a geisiasant. A phan grybwyllodd wrth y lliaws, os rhoddai neb eu hunain i mewn i'w fyddin ef, ar yr ammod hwn o gael aros tan gyfreithiau eu hynafiaid, a byw yn ol eu rheol hwynt, yr oedd efe yn ewyllysgar i'w cymmeryd gyd ag ef; llawer, gan hynny, oeddynt barod i'w ddilyn ef yn ei ryfeloedd.

Wedi i Alexander fel hyn sefydlu matterion yn Jerusalem, efe a arweiniodd ei fyddin i'r dinasoedd cymmydogaethol. Ac wedi i'r holl bobl ei dderbyn yn roesawgar i'r man y deuai; y Samariaid, y rhai oedd ganddynt Shechem y pryd hynny yn fam-ddinas, (lle ag ydoedd yn gorwedd wrth fynydd Gerizzim, ac yn cael ei phreswylio gan rai dirywiedig o'r genedl Iuddewig,) wrth weled fod Alexander yn ffafrio'r Iuddewon gymmaint; penderfynasant broffesu eu hunain yn Iuddewon. Canys y fath yw tymmer y Samariaid, fel y † tystiasom o'r blaen; pan fo'r Iuddewon yn drallodedig, ymwadant fod ganddynt hwy berthynas iddynt; ac yna y maent yn addef gwirionedd. Ond pan ganfyddont ryw ddedwyddwch wedi dyfod i'w rhan, y maent yn ebrwydd yn cymmeryd achlysur i arddel cymmundeb â hwy, gan ddywedyd eu bod o berthynas iddynt; a bod eu hachau yn tarddu o hiliogaeth Joseph, Ephraim, a Manasseh. Yn ganlynol, daethant i gyfarch y brenin mewn modd anrhydeddus, gan ddangos llawenydd mawr wrth ei gyfarfod ychydig o Jerusalem. Ac wedi i Alexander eu cymmeradwyo hwynt, y Shechemiaid a nesasant atto; gan gymmeryd gyd â hwynt y llu a anfonasai Sanbalat iddo; a hwy a'i gwahoddasant i ddyfod i'w dinas, ac anrhydeddu eu teml hefyd. I'r rhai yr addawodd, mai pan ddychwelai y deuai attynt hwy. A phan ddeisyfiasant ganddo faddeu neu eu rhyddhau oddiwrth deyrnged y seithfed flwyddyn; o herwydd nad oeddynt yn hau ynddi; efe a ofynnodd, Pwy oeddynt, pan wnaent y fath ddeisyfiad? A phan ddywedasant mai Hebreaid oeddynt; ond bod enw Sidoniaid arnynt, a'u bod yn byw yn Shechem; yntau a ofynnodd drachefn, A oeddynt yn Iuddewon? Ac wedi atteb nad oeddynt: "I'r Iuddewon," eb efe, y "caniattëais y rhagorfraint honno: pa fodd bynnag, pan ddychwelwyf, a chael gennych gyflawn hyspysrwydd am y matter hwn, mi a wnaf yr hyn a dybiwyf yn gyfaddas." Ac yn y modd hwn yr ymadawodd â'r Shechemiaid, ond a ddywedodd am i luoedd Sanbalat ei ddilyn ef i'r Aipht, o herwydd mai yno yr oedd yn bwriadu iddynt gymmeryd tir; yr hyn a wnaeth ychydig ar ol hynny yn Thebais; pan orchymmynodd iddynt wylied y wlad honno.

Ar farwolaeth Alexander, ‡ y llywodraeth a rannwyd rhwng llywodraethwyr dilynol; ond y deml ar fynydd Gerizzim a arosodd. A phan fyddai i ryw un gael ei gyhuddo gan y rhai o Jerusalem o fwytta pethau ‖ cyffredin, neu o dorri'r Sabboth, neu ryw fai arall o gyffelyb nattur, efe a ffôai ymaith at y Shechemiaid, gan ddywedyd, ei gyhuddo yn anghyfiawn. Ynghylch yr amser hwn y bu farw Jadua yr archoffeiriad: ac Onias ei fab a gymmerodd arno yr archoffeiriadaeth. Dymma ydoedd gyflwr achosion trigolion Jerusalem yn yr amserau hyn.

* Y lleoedd a ddangoswyd i'r brenin ar yr achos hwn a allent fod Dan. vii 6. viii. 3---8, 20, 21, 22. xi. 3, rhai neu'r cwbl o honynt ydoedd ragfynegiad amlwg o fuddugoliaethau Alexander, a'i ddilynwyr.

† Gwel Llyfr IX. Pen. 14. ‡ Bl. 323.

‖ Yma'r arfera Josephus yr ymadrodd "bwytta pethau cyffredin," am "fwytta pethau aflan;" megis y mae yn ein Testament Newydd,---Act. x. 14, 15, 28. xi. 8, 9. Rhuf. xiv. 14. Gwel y cyffelyb yn Josephus, XIII. 7.

# LLYFR XII.

*Yn cynnwys Amseriad o Un Cant a Deg a Thrugain o Flynyddoedd.*

## O FARWOLAETH ALEXANDER FAWR, HYD FARWOLAETH JUDAS MACCABEUS.

### PENNOD I.

*Am oresgyniad bradychus Jerusalem a Judea gan Ptolemy, mab Lagus; yr hwn a gludodd amryw o'r Iuddewon ymaith, ac a'u sefydlodd yn yr Aipht.*

PAN ddarfu i Alexander, brenin Macedon, roddi terfyn ar frenhiniaeth y Persiaid; a sefydlu matterion yn Judea, yn ol y dull a grybwyllwyd, efe a ddiweddodd ei fywyd. Ac megis y syrthiodd ei lywodraeth rhwng amryw, Antigonus a feddiannodd Asia; Selucus, Babilon; ac o'r cenedlaethau eraill oedd yno, Lysimachus a lywodraethodd yr Hellespont; Cassander a feddiannodd Macedonia; a Ptolemy, mab Lagus a oddiweddodd yr Aipht. A thra'r oedd y tywysogion hyn yn awyddus ymdrechu â'u gilydd, pob un tros ei dywysogaeth ei hun, fe ddigwyddodd rhyfeloedd gwastadol, a'r dinasoedd ydoedd yn dioddef, ac mewn colled o lawer o'u gwŷr yn yr amserau blinion hyn: yn gymmaint ag i holl Syria, o achos Ptolemy mab Lagus, fyned tan yr hyn oedd wrthwyneb i waith achubwr, fel yr oedd efe yn ei gyfenwi ei hun. Efe hefyd a oddiweddodd Jerusalem; ac i'r diben hwnnw efe a arferodd dwyll a bradwriaeth. Canys fel ag y daeth i'r ddinas ar ryw ddydd Sabboth, fel pe buasai am offrymmu aberth; efe, heb ddim trwbwl iddo ei hun, a ennillodd y ddinas, tra na ddarfu i'r Iuddewon ei wrthwynebu ef. Canys ni feddyliasant mai eu gelyn ydoedd; ac efe a'i hynnillodd y modd hwn, o herwydd eu bod yn rhydd oddiwrth ddrwg-feddwl am dano; ac o herwydd eu bod yn gorphwys ac yn llonydd ar y dydd hwnnw: ac wedi iddo ei hynnill, efe a lywodraethodd arni mewn modd creulon. Ië, Agatharchides o Cnidus, yr hwn a ysgrifennodd am weithredoedd dilynwyr Alexander, sy'n ein gwaradwyddo ag ofer-goel crefyddol; fel pe buasem trwyddo wedi colli ein rhyddid: lle y dywed fel hyn: "Y mae cenedl a elwir yn genedl o Iuddewon; y rhai a breswyliant ddinas fawr a chadarn a enwir Jerusalem. Y dynion hyn ni chymmerasent ofal am dani, ond a adawsant iddi syrthio i feddiant Ptolemy; megis heb ewyllysio myned tan arfau; a thrwy hynny a ymostyngasant i fod tan feistr caled, ar gyfrif eu hofer-goel crefyddol. Ac wedi i Ptolemy gymmeryd llawer yn gaethion o barthau mynyddig Judea, ac o'r lleoedd o amgylch Jerusalem a Samaria, a'r ardal gyfagos i fynydd Gerizzim; efe a'u harweiniodd oll i'r * Aipht, ac a'u sefydlodd yno. Ac fel y gwyddai fod pobl Jerusalem yn rhai † ffyddlonaf yn eu sulw o lwon a chyfammodau; a hynny oddiwrth yr ‡ attebiad a wnaethant i Alexander, pan anfonodd gennadwri attynt, yn ol iddo orchfygu Darius mewn brwydr; felly efe a ddosparthodd amryw o honynt i amddiffynfeydd: ac yn Alexandria a ganiattaodd ragorfreintiau dinasyddol iddynt yn gydradd â'r § Macedoniaid eu hunain; gan

* Y nifer mawr o'r Iuddewon a'r Samariaid yma a ddygwyd gynt i'r Aipht gan Alexander, ac yn awr gan Ptolemy, mab Lagus, a ymddengys yn ol hyn yn y dorf liosog a welwn ar fyrder yn cael eu hadbrynu a'u rhyddhau gan Philadelphus, cyn iddo anfon am y deuddeg a thrugain deonglwyr, yn yr amrywiol wersylloedd, a milwyr eraill o'r genedl honno yn yr Aipht, yn hynod sefydliad yr Iuddewon, a nifer y synagogau hynny yn Alexandria, yn hir ar ol hynny, ac yn yr ymryson tanbaid rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid tan Philometor, ynghylch y lle appwyntiedig i addoliad cyhoeddus, yn ol cyfraith Moses; pa un ai yn y deml Iuddewig yn Jerusalem, neu'r deml Samaritanaidd yn mynydd Gerizzim; am yr hyn oll y mae ein hawdwr yn ol hyn yn traethu. Ac am y Samariaid a gludwyd i'r Aipht tan yr un tywysogion, Scaliger a feddylia am y rhai sydd a synagog helaeth yn Cairo; megis hefyd y rhai ag y mae'r darluniedydd Arabaidd yn mynegi am danynt, ddarfod goresgyn ynys ganddynt yn y Môr Coch, mai eu gweddillion ydynt hyd y dydd hwn; fel y mae'r nodau yma yn hyspysu i ni.

† Am gyssegredigrwydd llwon ym mhlith yr Iuddewon yn yr Hen Destament---gwel yn Saesnaeg Scripture Politics, t. d. 54---65.

‡ Gwel Llyfr XI. Pen. 8.

§ Gwel hyn wedi ei brofi Llyfr XIV. Pen. 10.

ofyn ganddynt gymmeryd eu llwon, y byddai iddynt gadw eu ffyddlondeb tu ag at hiliogaeth y rhai a osodasant y lleoedd hynny tan eu gofal hwynt. Ië, nid ychydig o Iuddewon eraill oedd, y rhai, o honynt eu hunain nad aethant i'r Aipht; megis tan gymmelliad i hynny o herwydd ffrwythlondeb y tir, a thrwy haelioni Ptolemy. Pa fodd bynnag, yr oedd ymryson ym mysg eu hiliogaeth ymherthynas i'r Samariaid, ar gyfrif eu bwriad i lynu wrth yr un ymarferiadau mewn bywyd, ag a draddodwyd iddynt gan eu hynafiaid; ac ar hynny yr oeddynt yn ymrysongar: pan oedd y rhai o Jerusalem yn haeru fod eu teml yn sanctaidd, ac yn penderfynu myned a'u haberthau yno: ond y Samariaid a fynnent eu trosglwyddo i fynydd Gerizzim.

## PENNOD II.

*Am gyfieithiad Cyfreithiau'r Iuddewon i'r dafodiaith Roeg, trwy orchymmyn Ptolemy Philadelphus; yr hwn a ryddhaodd amryw Gaethion; ac a gyssegrodd amryw bethau at wasanaeth Duw.*

WEDI i Alexander deyrnasu * deuddeng mlynedd, ac ar ei ol ef Ptolemy Soter ddeugain mlynedd, Philadelphus a feddiannodd deyrnas yr Aipht, ac a'i llywodraethodd ddeugain mlynedd ond un. Efe a barodd i'r † gyfraith gael ei chyfieithu; ac a fu haelionus tu ag at y rhai a ddaethai o Jerusalem i'r Aipht, ag oedd yno mewn caethiwed, y rhai oeddynt ugain mil a chant o rifedi. Yr achos ydoedd hyn: Demetrius Phalerius, ceidwad llyfr-gell y brenin, ydoedd yn awr yn ymdrechu, o byddai bossibl, i gasglu ynghyd yr holl lyfrau ag oedd yn y byd cyfanneddol; gan bwrcasu yr hyn a fyddai o werth yn rhyw le, ac yn gyttûn â thuedd y brenin, (yr hwn oedd wedi ymosod yn dra awyddus at gasglu llyfrau); mewn chwanegiad at duedd pa un yr oedd Demetrius yn gyd-ymdrechgar. A phan ofynnodd Ptolemy unwaith iddo, pa sawl mil o lyfrau a gasglasai? efe a attebodd, fod ganddo eisoes ynghylch dau can mil; ond y byddai ganddo ym mhen ychydig amser bum can mil. Ond yntau a attebodd, ddarfod hyspysu iddo ef, fod amryw lyfrau cyfreithiau'r Iuddewon yn deilwng o ymofyniad am danynt, ac yn gymmwys i lyfr-gell y brenin: ond am eu bod yn ysgrifenedig â'u llythyrennau, ac yn eu hiaith eu hunain, ac mai nid ychydig yw yr anhawsdra o'u cyfieithu i'r iaith Roeg: bod y llythyrennau ym mha rai yr ysgrifennwyd hwynt yn ymddangos yn debyg i Syriaeg; ond bod sŵn y geiriau pan leferid hwynt, yn perthynu yn neillduol iddynt eu hunain. Ond efe a ddywedodd nad oedd dim yn lluddias paham na allent gael y llyfrau hynny wedi eu cyfieithu hefyd. "Canys," eb efe, "tra nad oes dim yn eisiau i'r perwyl hwnnw, gallwn gael eu llyfrau hwythau hefyd i'r llyfr-gell hon." Felly'r brenin a welodd fod Demetrius yn dra llafurus i grynhoi helaethrwydd o lyfrau; a'i fod yn dodi ar ddeall iddo yr hyn oedd dra chyfaddas ei wneuthur: ac yn ganlynol efe a ysgrifennodd at yr archoffeiriad Iuddewig ar iddo wneuthur felly.

Yn awr, yr oedd un Aristeus ym mysg y rhai pennaf o gymdeithion y brenin: ac ar gyfrif ei gymmedrolder yn dra chymmeradwy ganddo. Yr Aristeus hwn a feddyliasai yn fynych wneuthur deisyfiad at y brenin, ar iddo ryddhau yr holl gaeth-Iuddewon o fewn ei deyrnas. Ac efe a farnodd hwn yn amser cyfaddas i osod ger ei fron y cyfryw ddeisyfiad. Felly efe a ymddiddanodd yn y lle cyntaf â chadbeniaid gwarchawd-luoedd y brenin, Sosibius o Tarentum, ac Andreas; gan eu perswadio hwy i'w gynnorthwyo yn yr hyn ag oedd yn myned i erfyn trosto gan y brenin. Yn ganlynol, Aristeus a ymunodd â barnau y gwŷr a rag-grybwyllwyd, gan fyned i mewn at y brenin, a gwneud yr araith ganlynol o'i flaen: "Nid gweddus yw i ni, O

* Y rhifedi hwn o ddeuddeng mlynedd i Alexander; 40 i Ptolemy mab Lagus; a 39 i Ptolemy Philadelphus; ydynt yn dra agos i'r hyn ag y mae Canon Ptolemy yn amrywiaethol yn ei gyfrif iddynt.

† Am gyfieithiad rhannau eraill o'r Hen Destament gan ddeg a thrugain o Iuddewon yr Aipht, yn nheyrnasiad cyssylltedig Ptolemy mab Lagus, a Philadelphus; megis hefyd am gyfieithiad y Pentateuch gan y deuddeg a thrugain o Iuddewon Jerusalem, yn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Philadelphus, yn Alexandria, megis y rhoddir hanes i ni gan Aristeus, ac oddiyno gan Philo a Josephus; gyd ag Amddiffyniad Hanes Aristeus---gwel Chwanegiad, llyfr yn Saesnaeg, ar Gyflawniad Llythyrennol y Prophwydoliaethau, yn helaeth, t. d. 117---152, yr hwn hyd yn hyn ni chafodd un gwrddywediad.

frenin, edrych tros bethau yn fyrbwyll, neu dwyllo ein hunain, ond i agoryd y gwirionedd. Canys fel y penderfynasom nid yn unig gael meddiant o gyfreithiau yr Inddewon, ond cyfieithiad o honynt hefyd, er boddlonrwydd i ti: trwy ba foddion y gallwn gael hyn, tra y mae cynnifer o'r Iuddewon yn awr yn gaeth-weision yn dy deyrnas? Gwna gan hynny yr hyn f'o gyttunol â'th fawrhydi, ac i'th dueddiad daionus. Rhyddha hwynt o'r cyflwr caethiwus y maent ynddo. O herwydd mai'r Duw ag sy'n cynnal dy deyrnas ydoedd awdwr eu cyfreithiau, megis y cefais wybod ar ol manwl ymofyniad. Canys y bobl yma, a ninnau hefyd ydym yn addoli'r un Duw, ffurfiwr pob peth. Gelwir ef gennym ni, a hynny yn gyfiawn, wrth yr enw Bywyd; o herwydd ei fod yn anadlu bywyd ym mhob dyn. Oblegid paham, adfera y bobl hyn i'w gwlad eu hunain; a chaniattâ iddynt fyw ynddi; a gwna hyn er anrhydedd i Dduw; o herwydd fod y dynion yma yn rhoddi neillduol ragorol addoliad iddo ef. A gwybydd hyn ymhellach, er nad wyf fi wrth enedigaeth yn un o'u carennydd, nac o'u gwlad hwynt; etto yr wyf yn ewyllysio y ffafr hon i gael ei gwneuthur iddynt; gan mai o wneuthuriad Duw y mae pob dynion; ac yr wyf yn deimladwy o'i anfoddlonrwydd tu ag at yr hyn sydd dda. Yr wyf gan hynny yn gosod y deisyfiad hwn o'th flaen, er daioni a lleshad iddynt."

Wedi i Aristeus ddywedyd hyn, y brenin a edrychodd arno ag wynebpryd siriol, ac a ddywedodd, "Pa nifer o filoedd yr wyt yn dychymmygu sydd ag eisiau arnynt gael eu rhyddhau?" I'r hyn yr attebodd Aristeus, fel yr oedd yn sefyll yn ymmyl, "Ychydig yn rhagor na chant o filoedd." Y brenin a attebodd, "Ac ai rhodd fechan yw hon a ofynni, Aristeus? Ond Sosibius, a'r rhai a safasant ger llaw, a ddywedasant, Y fath a fyddai gyfryw offrwm diolchgar, teilwng o fawrfrydigrwydd ei enaid, i'r Duw hwnnw a roddasai iddo ei deyrnas. A'r atteb hwn efe a foddhawyd yn fawr: ac a roddes orchymmyn, pan dalent i'r milwyr eu cyflog, am osod o honynt i lawr * gant ac ugain o drachmæ gogyfer â phob un o'r caeth-weision. Ac efe a addawodd osod allan gyhoeddiad helaethlawn ynghylch yr hyn a geisiasant; yr hyn a gadarnhäai y peth a gynnygiodd Aristeus, ac yn enwedig yr hyn a ewyllysiai Duw ei wneuthur: trwy'r hyn y dywedodd y gosodai mewn rhyddid, nid yn unig y rhai a ddygasid ymaith yn gaethion gan ei dad, a'i fyddin, ond y rhai ag oedd yn y deyrnas o'r blaen; a'r rhai hefyd, os oedd y cyfryw yn bod, a gymmerasid ymaith yn ol hynny. A phan ddywedent fod gwerth eu hadbryniad yn cyrhaeddyd i bedwar cant o dalentau, efe a rydd-ganiattäai hynny. Copi o'r cyhoeddiad hwn wyf yn penderfynu ei goffâu; fel y byddo i fawrfrydigrwydd y brenin hwn fod yn adnabyddus. Ei gynnwysiad sydd fel y canlyn:—

"Bydded i'r rhai oll ag ydoedd yn filwyr tan ein tad; a'r rhai, pan oresgynasant Syria a Phœnicia, ac y difrodasant Judea, gan gymmeryd yr Iuddewon yn gaethion, a'u dwyn i'n dinasoedd ac i'n gwlad ni, ac yna a'u gwerthasant; megis hefyd y rhai ag oedd yn fy nheyrnas o'u blaen hwynt; ac os oes rhai a ddygwyd yn ddiweddar yma, gael eu rhyddhau gan eu perchennogion; a derbynient gant ac ugain drachmæ am bob caethwas; a derbynier arian yr adbryniad hwn gan bob milwyr gyd â'i gyflog; ond y gweddill allan o drysorfa'r brenin. Canys yr ydwyf yn dychymmygu ddarfod eu caethiwo hwynt heb gydsyniad ein tad, ac yn wrthwyneb i uniondeb: a bygythio eu gwlad trwy drahausder y milwyr; a thrwy eu gyrru i'r Aipht, ddarfod i'r milwyr wneuthur elw mawr oddiwrthynt. Oddiar barch gan hynny i gyfiawnder, ac o dosturi at y rhai a orthrymmwyd, yn wrthwyneb i uniawnder, yr wyf yn erchi i'r rhai sydd â'r cyfryw Iuddewon

* Er bod y rhifedi hwn o 120 drachmæ Alexandria, neu 60 o siclau Inddewig, yn cael eu crybwyll deirgwaith yma, a hynny yn holl gopiau Josephus, Groeg a Lladin; etto gan fod holl gopiau Aristeus, o ba rai y cymmerodd Josephus ei adroddiad, a'r swm yma wedi ei nodi ynddynt amryw weithiau, ac etto heb fod ddim yn rhagor na 20 drachmæ, neu 10 sicl Inddewig; a chan fod swm y talentau sydd i'w gosod i lawr ar fyrder, yr hyn sydd ychydig uwchlaw 460 gogyfer ag ychydig rhagor na 100,000 o gaeth-weision, ac sydd yn agos yr un yn Josephus ac Aristeus, yn cyttuno yn well ag 20 nac â 120 drachmæ: a chan mai gwerth caethwas gynt oedd, o fwyaf, ond 30 o siclau, neu 60 drachmæ, gwel Exod. xxi. 32, tra yn yr amgylchiad presennol o gaeth-weision Iuddewig, a'r rhai hynny o'r fath amldra o nifer, Philadelphus a ddewisai eu prynu ar îs, yn hytrach nac ar uwch ammodau; y mae'n rheswm i ddewis copi Aristeus yma o flaen Josephus.

yn eu gwasanaeth eu gosod hwy yn rhyddion, ar eu derbyniad o'r ddywededig swm; ac nad arfero neb dwyll ymherthynas iddynt, ond ufuddhau i'r hyn a orchymmynir yma. A'm hewyllys yw rhoddi o honynt i mewn eu henwau ymmhen y tri diwrnod, yn ol amlygu y cyhoeddiad hwn, i'r cyfryw ag a appwyntir i weithredu ymherthynas i'r achos yma, a gosod y caethweision o'u blaen hwynt. Canys fy meddwl yw y bydd er llesâd a mantais i'm hachosion. A phob un a wnel, hyspysed yn erbyn y sawl na ufuddhao i'r gorchymmyn hwn: a dyger eu heiddo a'u hetifeddiaeth yn fforffed i drysorfa 'r brenin."

Pan ddarllenwyd y cyhoeddiad hwn i'r brenin, yr ydoedd yn cynnwys y rhannau eraill a gynnwysir i mewn yma, ac a adawodd ar ol yn unig yr Iuddewon hynny, a gaethiwasid o'r blaen, a'r rhai a gaethiwyd yn ol-llaw; yr hyn yn amlwg ni chrybwyllasid; felly efe o'i ddynoliaeth a chwanegodd hyn, ac o'i rywiogrwydd mawr. Efe hefyd a orchymmynodd, i'r taliad ag oedd debygol i gael ei wneuthur gyd â brys, gael ei rannu ym mhlith gweinidogion y brenin, a rhwng swyddogion ei drysorfa. Pan aeth hyn trosodd, y cwbl a orchymmynasai y brenin a ddygwyd i ben mewn saith niwrnod o amser; a rhifedi'r talentau a delid am y caeth-weision yn bedwar cant a thrugain: a hyn oedd, am i'w meistriaid ofyn cant ac ugain drachmæ am y plant: a'r brenin wedi gorchymmyn, mewn effaith, dalu am y rhai hyn hefyd, pan grybwyllodd yn ei gyhoeddiad y derbynient y ddywededig swm am bawb o'r caethion.

Wedi darfod gwneuthur hyn mewn modd mor anrhydeddus, yn ol tueddiad y brenin, efe a roddes orchymmyn i Demetrius i draddodi iddo yn ysgrifenedig ei feddyliau ymherthynas i gopïo cyfieithiad o'r llyfrau Iuddewig. Canys nid oedd un rhan o weinidogaethiad gwladol yn cael ei wneuthur yn fyrbwyll tan y brenhinoedd hyn, ond pob peth yn cael ei drefnu gyd â mawr gyfarchwyliad. Ar ba gyfrif mi chwanegais dransgrif o'r epistolau hyn, ac a osodais i lawr y nifer mawr o lestri a anfonwyd megis anrhegion i Jerusalem, a dull gwneuthuriad pob un: fel y byddo yn amlwg gymmwysder gwaith pob crefftwr, megis yr ymddangosodd i'r rhai a'u gwelsant; a pha ryw grefftwr a wnaeth bob llestr a ellir ei amlygu; a hynny oddiwrth ragorol ddefnyddioldeb y llestr ei hun. Yn awr, copi o'r epistol ydoedd i'r perwyl yma:

"DEMETRIUS AT Y BRENIN MAWR.

"Wedi i ti, O frenin, orchymmyn i fy ngofal ymherthynas i gasgliad llyfrau ag sydd yn eisiau i lenwi i fynu dy lyfr-gell: ac ymherthynas i'r gofal a ddylid gymmeryd am y rhai sy'n amherffaith; mi arferais y diwydrwydd mwyaf ynghylch y matterion hyn. Ac yr wyf yn gadael i chwi wybod, ein bod mewn diffyg o lyfrau'r cyfreithiau Iuddewig, gyd â rhai eraill: canys y maent yn 'sgrifenedig mewn llythyrennau Hebraeg; a chan eu bod yn iaith y genedl honno, y maent i ni yn anadnabyddus. Fe ddigwyddodd hefyd iddynt gael eu transgrifio gyd â llai o ofal nag a ddylasai fod; o herwydd na chawsant hyd yn hyn ofal brenhinol ymherthynas iddynt. Yn awr, y mae'n angenrheidiol i ti gael copïau cywir o honynt. Ac yn wir y cyfreithiau hyn sydd gyflawn o ddoethineb dirgel, ac yn gwbl ddifai, megis y maent yn gyfreithiau wedi eu rhoddi gan Dduw. O herwydd pa achos y mae, fel y dywed Hecteus o Abders, fod y beirdd neu'r prydyddion a'r hanesyddion heb grybwyll am danynt, nac am y dynion ag sy'n arwain bywydau cyfattebol iddynt; gan mai cyfreithiau sanctaidd ydynt, ac na ddylid ymdrin â hwynt gan ddynion halogedig. Os rhynga bodd i ti gan hynny, O frenin, gelli ysgrifennu at archoffeiriad yr Iuddewon, am anfon chwech o henuriaid allan o bob llwyth, a'r rhai hynny yn gyfryw ag a fo'n fwyaf cyfarwydd yn y cyfreithiau; fel trwy'r moddion o honynt hwy, y dysgom wybod yn eglur iawn ystyr y llyfrau hyn, a chael deongliad cywir o'u cynnwysiad: ac felly cael o honom y fath gasgliad o'r rhai hyn ag a fo'n cyfatteb â'th ddymuniad."

Wedi anfoniad yr epistol yma at y brenin, efe a orchymmynodd fod i epistol gael ei ysgrifennu at Eleazer yr archoffeiriad Iuddewig, ymherthynas i'r matterion hyn: a bod iddynt ei wneud

yn hyspys o ryddhâd yr Iuddewon oedd yn gaethion yn eu mysg hwynt. Efe hefyd a ddanfonodd ddeg a deugain talent o aur, i wneud ffiolau mawrion, costrelau,a chwppanau i'r deml, a mesur aneirif o feini gwerthfawr. Efe hefyd a roddes orchymmyn i'r rhai oedd â chadwraeth y cistiau ganddynt, yn cynnwys y meini gwerthfawr, i roddi cennad i gelfyddwyr i ddethol y rhai a ddewisent o honynt: a chan appwyntio yr un amser i gan talent, yn arian bathedig, gael eu danfon i'r deml, at bwrcasu aberthau, ac achosion eraill. Yn awr, rhoddaf ddescrifiad o'r llestri hyn, a dull eu gwneuthuriad: ond nid cyn im' osod i lawr dransgrif o'r epistol a ysgrifenwyd at Eleazar yr archoffeiriad, yr hwn a gawsai'r anrhydedd hynny ar yr achlysur canlynol. Wedi marw Onias yr archoffeiriad, ei fab Simon a ddaeth yn ei le ef. Efe a gyfenwid Simon * yr Uniawn, o herwydd ei ffyddlondeb tu ag at Dduw, a'i duedd caredig tu ag at y rhai o'i gydgenedl. Pan fu efe farw, a gadael mab ieuangc o'i ol, yr hwn a elwid Onias; Eleazar, brawd Simon, am yr hwn yr ydym yn llefaru, a gymmerodd yr archoffeiriadaeth. Ac efe oedd yr un yr ysgrifennodd Ptolemy atto, a hynny yn y dull canlynol:—

"Y brenin Ptolemy, at Eleazar yr archoffeiriad, yn anfon annerch. Y mae Iuddewon lawer ag sydd yn aros yn awr yn fy nheyrnas, y rhai a ddarfu y Persiaid, pan oeddynt mewn awdurdod, ddwyn yn gaethion. Anrhydeddwyd y rhai hyn gan fy nhad: ac o honynt gosodwyd rhai yn y fyddin, gan dalu iddynt ychwaneg nac arferol. I eraill o honynt, pan ddaethant gyd ag ef i'r Aipht, y rhoddodd ofal yr amddiffynfeydd, a'u gwyliadwriaeth, fel y byddent yn ddychryn i'r Aiphtiaid. Ac wedi i mi gymmeryd y llywodraeth, mi ymddygais at bawb gyd â dynoliaeth; yn enwedig at y rhai ydynt dy gydddinasyddion. O ba rai y gosodais yn rhyddion uwchlaw can mil, y rhai oeddynt gaeth-weision; gan dalu gwerth eu hadbryniad i'w meistraid, allan o'm trysorfa fy hun: a'r rhai ydynt gymmwys o oedran, caniattëais dderbyniad iddynt at nifer fy milwyr. Ac am eraill a ddichon fod yn ffyddlon i mi, ac yn addas i'm llŷs, mi a'u gosodais yn y cyfryw sefyllfaoedd; gan dybied y byddai i'r caredigrwydd hyn a ddangosid iddynt, fod yn rhodd gymmeradwy ganddynt, yr hyn yr wyf yn ei wneuthur fel aberth i Dduw, am ei ragluniaeth trosof fi. Ac fel yr wyf yn ewyllysio gwneuthur y peth a fyddo boddlongar i'r rhai hyn, ac i'r holl Iuddewon trwy'r gwledydd cyfanneddol; mi benderfynais gael cyfieithiad o'ch cyfriath chwi, wedi ei throi o'r Hebraeg i'r iaith Roeg, a'i roddi i fynu i gadw yn fy llyfr-gell. Ti wnai'n dda, gan hynny, ddethol allan, ac anfon i mi wŷr a geirda iddynt, y rhai ydynt henuriaid mewn oedran, a chwech mewn rhifedi allan o bob llwyth. Y rhai, wrth eu hoedran, fydd raid eu bod yn gyfarwydd yn y cyfreithiau, ac â chymmwysderau ganddynt i wneud cyfieithiad cywrain o honynt. A phan fo i hyn gael ei orphen, meddyliaf fy mod wedi gwneuthur gwaith gogoneddus im' fy hun. Ac mi ddanfonais attat Andreas, cadben fy ngwarchawdlu, ac Aristeus, gwŷr ag sydd mewn cyfrifiad mawr gennyf fi: gyd â pha rai yr anfonais y blaen-ffrwythau hyn a gyssegrais i wasanaeth y deml, a'r aberthau; ac at achosion eraill, yn werth cant o dalentau. Ac os anfoni attaf i wybod pa beth a fynnit yn rhagor, ti wnei yr hyn a fydd gymmeradwy gennyf fi."

Pan ddygwyd yr epistol yma at Eleazar, efe a ysgrifennodd atteb iddo, gyd â'r parch mwyaf ag oedd bossibl: "Eleazar yr archoffeiriad at y brenin Ptolemy, yn anfon annerch: Os wyt ti, a'th † frenhines, Arsinoe, a'th blant mewn iechyd, da ydyw gennym ni. Pan dderbyniasom dy epistol, nyni a lawenychasom yn fawr oblegid dy fwriadau. Ac wedi i'r lliaws ymgasglu ynghyd, nyni a'i darllenasom iddynt, a thrwy hynny a'u gwnaethom yn ddealladwy o'th ffyddlondeb tu ag at Dduw. Nyni hefyd a ddang-

* Y mae gennym ryw barchedigaeth mawr i Simon yr uniawn neu'r cyfiawn hwn, mab Onias I. yn y ddegfed bennod a deugain o Ecclesiasticus, trwy'r holl bennod: ac nid yw yn ammhriodol sylwi ar y bennod hono ei hun ar yr achos hwn.

† Pan y mae gennym yma, ac yn fuan etto, grybwylliad am frenhines Philadelphus, Arsinoe; dylem ddeall gyd â Spanheim, fod Arsinoe yn chwaer ac yn wraig iddo; yn ol hen arferiad Persia, a'r Aipht, yn y pryd hwn; ie, a'r Assyriaid ym mhell ar ol hynny. Gwel XX. 2. Oddiwrth yr hyn y mae gennym ar arian Philadelphus yr argraph hwn---Y brawd a'r chwaer dwyfolaidd.

osasom iddynt yr ugain costrelau aur, a'r deg ar hugain o rai arian; y pum phiolau mawrion, a'r bwrdd i'r bara dangos: megis hefyd y can talent arian i'r aberthau, a thu ag at wneud yr hyn sydd angenrhaid yn y deml. Yr hyn bethau Andreas ac Aristeus, dy gymdeithion anrhydeddusaf, a ddygasant i ni. Ac yn sicr y maent yn wŷr o ymddygiad canmoladwy, ac o ddysgeidiaeth mawr, a theilwng o'th rinwedd. Gwybydd, gan hynny, y boddhawn di yn yr hyn a fyddo er dy lesâd, er gwneud o honom yr hyn ni arferasom o'r blaen. Canys nyni a ddylem ddychwelyd y lliaws cymmwynasau a wnaethost i'n cydwladyddion. Nyni, gan hynny, yn ddioed a offrymasom aberthau trosot ti a'th chwaer, ynghyd a'th blant, a'th gyfeillion: a'r lliaws a weddiasant ar fod i'th achosion lwyddo yn ol dy feddwl; a pharhau o dy deyrnas mewn heddwch; a bod dychweliad ein cyfraith ni i'r iaith a grybwyllaist, yn cael ei ddwyn i'r diweddiad a ddymuni, ac er dy fuddioldeb. Nyni hefyd a ddewisasom chwech o henuriaid allan o bob llwyth; y rhai a ddanfonasom, a'r gyfraith gyd â hwynt. Bydd yn dy ran di, o'th dduwioldeb a'th gyfiawnder, i ddychwelyd y gyfraith yn ol pan gyfieither hi; ac adferyd y rhai hynny i ni a'i dygo attat mewn diogelwch. Bydd wŷch."

Hwn oedd yr attebiad a wnaeth yr archoffeiriad. Ond nid ymddengys yn angenrheidiol osod i lawr enwau y deuddeg a thrugain o henuriaid, y rhai a ddanfonwyd gan Eleazar gyd â'r gyfraith, y rhai a gyssylltid â diwedd yr epistol. Pa fodd bynnag, yr wyf yn tybied nad yw yn anghymmwys i adrodd am gywreinrwydd a gwerthfawrogrwydd y llestri a ddanfonodd y brenin at wasanaeth Duw; fel y gwelo pawb y fath barch oedd ganddo iddo. Canys efe a fuasai mewn traul fawr yn eu cylch hwynt, gan ddyfod yn fynych at y crefftwyr i olygu eu gwaith hwynt; ac ni oddefodd i ddim trwy ddiofalwch neu esgeulusdra wrthuno eu gweithrediadau. Ac mi adroddaf pa mor addurnedig oeddynt mor belled ag y gallwyf. Er ysgatfydd na ddichon fod natur yr hanes yma yn gofyn y fath ddescrifiad: ond dychymmyga y bydd i mi wrth hynny ddangos cywreindeb ardderchog y brenin hwn i'r rhai a ddarllennant ei hanes.

Ac yn gyntaf mi ddescrifiaf yr hyn a berthynai i'r bwrdd. Yr ydoedd yn wir ym meddyliau'r brenin i wneuthur y bwrdd yn dra helaeth o ran ei faintioli. Ond yna efe a orchymmynodd iddynt ddysgu gwybod am faint y bwrdd ag ydoedd eisoes yn nheml Jerusalem, a pha mor helaeth ydoedd; a pha un a ydoedd possiblrwydd i wneuthur un helaethach. Ac wedi cael o hono hyspysrwydd pa mor ehang ydoedd yr un ag oedd eisoes yno; ac nad oedd un rhwystr na ellid gwneuthur un helaethach; dywedodd, ei fod yn ewyllysgar i wneuthur un bum waith yn fwy na'r bwrdd oedd yno yn bresennol; ond ei ofn oedd, y byddai'n ol hynny yn ddiddefnydd yn eu cyssegredig wasanaeth, trwy ormodedd helaethrwydd. Canys efe a ddymunodd na fyddai i'w roddion a ddanfonid yno fod er dangosiad, ond o ddefnydd hefyd yn eu gweinidogaethau cyssegredig. Yn gyfattebol i'r ymresymiad hwn, ynghylch fod y bwrdd blaenorol wedi ei wneuthur o faintioli mor gymhedrol er gwasanaeth, ac nid o ddiffyg aur; efe a benderfynodd na ragorai ar y bwrdd hwnnw mewn maintioli; ond y gwnai iddo ragori o ran gwerthfawrogrwydd ei ddefnyddiau. Ac fel yr oedd yn meddiannu synwyrau i sylwi ar naturiaethau pob peth, ac i iawn amgyffred pethau newyddion a rhyfedd; a lle na byddai cerfiadau, efe a ddyfeisiai rai a fyddai gymmwys i bob achos trwy ei gywreinrwydd ei hun, ac a'u dangosai i gelfyddydwyr; gan orchymmyn i rai o'r cyfryw ddull gael eu gwneuthur ganddynt: a bod i'r rhai a gyssegrid gael eu darlunio yn y modd cywreiniaf, wastadol ofal ymherthynas i'w darluniad.

Wedi, gan hynny, i'r gweithwyr gymmeryd arnynt wneuthuriad y bwrdd, hwy a'i ffurfiasant mewn hŷd yn ddau gufydd * a hanner; o led yn un cufydd; ac un a hanner o uchder; a'i ddefnydd oll ydoedd o aur. Gwnaethant hefyd goron o led llaw o'i amgylch, gyd â gwëad-waith blethedig, ac argraph cordynnog, yn troi at ei dair rhan; canys megis yr oeddynt o ddull tri-

* Dau gufydd, Aristæus; megis Exod. xxv. 23. xxxvii. 10. a Hynafiaethau III. 6.

chonglog, pob congl ydoedd a chyffelyb gerfiadau arnynt; fel pan droid hwy o amgylch, yr un ffurf o honynt a droai felly, heb ddim amrywiaeth. Yn awr, y rhan hynny o'r goron-waith a gynnwysid tan y bwrdd, ydoedd â'i gerfiad yn dra gwych: ond y rhan hynny ag oedd o gwmpas y tu allan, ydoedd wedi ei addurno yn fwy â cherfiadau tra harddwych, o herwydd ei fod yn amlwg i'r golwg o flaen yr edrychwyr. Am ba reswm pob un o'r ochrau oedd i'w gweled uwchlaw y lleill, oeddynt gyfrwyswaith; ac nid oedd un o'r conglau yn ymddangos yn llai na'r lleill, pan droid y bwrdd o amgylch. Yn awr, i'r cordynwaith ag oedd yn troi y modd hwn y bwrid meini gwerthfawr, yn rhesau cyfattebol i'w gilydd, yn gynnwysedig mewn bottymmau aur, a chnapiau arnynt. Ond y rhannau oedd ar du'r goron, ac yn amlwg i'r golwg, oeddynt wedi eu haddurno â lluniau hirgrwn wedi eu dodi yn wyrdraws, o'r fath oreu o feini gwerthfawr, y rhai a arwyddent wïail wedi eu gosod yn gyfagos i'w gilydd, ac yn cwmpasu y bwrdd o amgylch. Ond tan y lluniau hirgrynion hyn wedi eu cerfio, y gweithwyr a wnaent lun coronau o'u cwmpas, lle'r oedd dull pob math o ffrwythau yn cael eu harwyddo, wrth waith y cerfiwr; yn gymmaint ag yr oedd llun grawnsypiau i'w gweled ynghrôg wrthynt. A phan wnaethant y meini i arwyddo yr amrywiol ffrwythau rhag-grybwylledig, a phob un ar ei liw ei hunan; hwy a'u cydgydiasant ag aur o amgylch yr holl fwrdd. Yr un sefyllfa i'r lluniau hirgrwn, a'r gwïail cerfiedig a osodid tan y goron, fel y byddai i'r bwrdd ar bob ochr wneuthur yr un ymddangosiad o amrywiaeth lluniau, a chywreinrwydd addurniadau; fel na byddai i sefyllfa y gwëad-waith, na'r goron amrywio, er troi y bwrdd y tu arall; ond y byddai golygiad y dyfaisiau celfyddydol hyn yn cyrraedd mor isel a'r traed. Canys fe wnaethpwyd llafn o aur, o led pedwar bŷs, trwy holl led y bwrdd, i ba un y dodent i mewn y traed, ac yna a'u clymment â'r bwrdd â bottymmau, gyd â thyllau yn y man yr oedd sefyllfa'r goron; fel ar ba ochr bynnag i'r bwrdd y safai un, y cai'r un olwg o'r cywreinwaith, ac o ehangder y draul a aethai arno. Ond ar y bwrdd ei hun yr argraphasant nyddwaith, gan osod ynddo feini gwerthfawr, yn y canol, fel sêr o amryw liwiau; y carbuncl, a'r emerald, pob un o ba rai a roddai allan lewyrchiadau dymunol o oleuni i'r edrychwyr; gyd â'r fath feini amrywiaethol eraill hefyd a ryfeddid fwyaf, ac a gyfrifid yn werthfawroccaf, gan eu bod yn rhagori o ran eu defnydd. Y nyddwaith hwn a gylchynid â gwëad o rwydwaith, canol pa un a ymddangosai fel rhombus, i ba un y bwrid craig-grystal, ac amber; y rhai wrth yr ymddangosiad a wnaethant, a barodd foddlonrwydd mawr i'r rhai a'u gwelsant. Penynau y traed a arwyddent flodeuad cyntaf y lili, tra'r oedd eu dail yn gogwyddo, ac yn gorwedd tan y bwrdd; ond yn y fath fodd ag y gwelid y canol-dwf yn sefyll yn sythion ynddynt. Eu gwadnau yn wneuthuredig o garbuncl; a'r llafn yn y gwaelod, pa un oedd yn gorwedd ar y carbuncl, ydoedd led llaw o ddyfn, ac wyth fŷs o led. Yn awr, hwy a argraphasant arno, ag erfyn tra chywrain, a chyd â llawer o boen, lun tusw o eiddew, a changhennau gwinwydden yn estyn allan ei sypiau o rawn; fel na wypper nad gwir ganghennau oeddynt: canys yr oeddynt mor deneuon, ac yn ymestyn cymmaint yn eu blaen, fel y symmudid hwynt gan wynt, i wneud i un gredu mai o dwf naturiol yr oeddynt, ac nid gwaith celfydd. Gwnaethant hefyd i waith y bwrdd ymddangos yn dri-phlyg; pan oedd cyssylltiad yr amrywiol rannau wedi eu huno ynghyd felly, fel ag y byddent yn anweledig, a'r lleoedd y cyssylltent ni ellid ei wahaniaethu. Yn awr, trwch y bwrdd nid oedd lai na hanner cufydd. Felly y rhodd yma o haelioni mawr y brenin, trwy fawr werth y defnyddiau, ac amrywiaeth celfyddgar y gweithwyr, a'u cywreinwaith yn arwyddo pethau mewn natur, a'u cerfiedig arfau, yr hyn a ddygwyd o'r diwedd i berffeithrwydd: tra'r oedd y brenin yn mawr chwennychu, er nad oedd y bwrdd i ragori mewn helaethder oddiwrth yr un oedd eisoes yn nheml Jerusalem, etto fod iddo ynghywreinrwydd ei waith, newydd-deb ei ddyfais, a gwychder ei orpheniad, ragori ym mhell arno.

Yn awr, yr ydoedd dwy o gerwyni aur; pob

un o ba rai a gerfiwyd â chen-waith o'i gwaelod i'w gwregysiad, gyd ag amrywiaeth o feini wedi eu gosod yn y tröadau cwmpasog. Yn nesaf at ba rai yr ydoedd gwaith dolennog, o un cufydd ei uchder; ac wedi ei gyfansoddi o feini o amryw liwiau. Ac yn nesaf at hyn yr ydoedd gwaith gwiail cerfiedig; ac yn nesaf at hynny rhombus mewn pleth rwydwaith, yn dynnedig at ymyl y cawg, tra 'r oedd tarianuau bychain o feini harddwych, ac yn bedwar bysfedd o drwch, yn llenwi i fynu y canol-rannau. Ynghylch ymyl y cawg yr ydoedd pleth-waith o ddail lili, y convolvulus, a changhennau gwinwydd, mewn dull cwmpasog. A dyma ydoedd cyfansoddiad y ddwy gerwyn aur; yn cynnwys dwy ffircyn bob un. Ond y rhai a wnaethpwyd o arian oeddynt lawer disgleiriach na drychau; ac ynddynt hwy y gwelid y lluniau a syrthiai arnynt yn eglurach nac yn y lleill. Y brenin hefyd a orchymmynodd ddeg ar hugain o gostrelau: rhannau pa rai ag ydoedd heb fod o aur, ac heb eu llenwi i fynu â meini gwerthfawr, a gysgodid trosodd â dail eiddaw, a gwinwydd wedi ei cerfio yn gelfyddgar. A'r rhai hyn oedd y llestri a ddygwyd yn ol y drefn ragorol yma i berffeithrwydd: mewn rhan o gywreinrwydd y crefftwyr, y rhai oeddynt i'w rhyfeddu am gywreinwaith, a'r brenin yn llawer mwy felly, o blegid ei ddiwydrwydd a'i haelioni; yr hwn nid yn unig oedd yn gweini i ddiffygion y celfyddydwyr, ond yn rhoi heibio wrandawiad achosion cyhoeddus trosamser, gan ddyfod a sefyll wrth ochr y crefftwyr, a gweled y modd yr oedd yr holl waith yn myned ym mlaen. A hyn oedd un achos pa ham yr oedd y gweithwyr mor ddyfal a gofalus yn eu gorchwyl; o herwydd fod golwg y brenin arnynt, a'i ofal mawr ymherthynas i'r llestri; ac felly y parhausant yn fwy dichlyn ac anniffygiol wrth y gwaith.

A dyma roddion neu anrhegion a ddanfonodd y brenin Ptolemy i Jerusalem, i'w cyssegru at wasanaeth Duw yno. Ond wedi i Eleazar yr archoffeiriad eu gosod i fynu yn y deml; a dangos parchedigaeth dyledus i'r rhai a'u dygasent; a thraddodi anrhegion iddynt i'w dwyn yn ol i'r brenin, efe a adawodd iddynt fyned ymaith; ac wedi eu dyfod i'r Aipht, gyd â'r deuddeg a thrugain henuriaid, y brenin a ddanfonodd yn ebrwydd am Andreas ac Aristeus ei gennadwyr. Yn ganlynol, hwy a ddaethant atto, ac a draddodasant yr epistol iddo oddiwrth yr archoffeiriad; gan atteb i'r holl gwestiwnau a roddodd attynt â geiriau eu genau. Yna efe a brysurodd i gyfarfod â'r henuriaid a ddaethai o Jerusalem, i ddeongli'r cyfreithiau; gan orchymmyn i rai a ddeuant atto ar achosion eraill fyned ymaith; yr hyn a barodd ryfeddod iddynt am na arferai wneuthur felly o'r blaen. Canys y rhai a dynnent yno ar achosion eraill, a arferent ddyfod atto ar y pummed dydd; ond cennadwyr yr amryw deyrnasoedd ar ddiwedd y mis. Wedi danfon o hono eraill ymaith; efe a arhosodd i ddisgwyl am y rhai a ddanfonasid gan Eleazar. Ond fel yr oedd gwr oedrannus yn dyfod i mewn â'r anrhegion a ddanfonasid gan yr archoffeiriad i'r brenin; a chyd â'r memrwn, ar ba rai yr oedd eu cyfreithiau'n ysgrifenedig mewn llythyrenau aur; efe a osododd gwestiwnau o'u blaen mewn perthynas i'r llyfrau hynny. Ac wedi tynnu ymaith y cauadau ym mha rai y plygasid hwynt, hwy a ddangosasant iddo y memrwn. Felly y brenin a ryfeddodd wrth deneudra y memrwn a chywirdeb y cyssylltiadau, y rhai ni ellid eu canfod, mor gymmwys yr unent y naill â'r llall; a hyn a sylwiodd arno tros ennyd o amser. Yna y dywedodd ei fod yn ddiolchgar iddynt am ddyfod atto; ac yn fwy diolchgar i'r neb a'u danfonasai; ac uwchlaw'r cwbl i'r Duw hwnnw, cyfreithiau pa un yr ymddangosent eu bod. Yna'r henuriaid, a'r rhai oedd yn bresennol gyd â hwynt, a lefasant allan ag un llais, gan ddymuno pob dedwyddwch i'r brenin; ar yr hyn y cynhyrfodd gymmaint ag y tywalltodd ddagrau: megis y mae yn naturiol i ddynion ddangos yr un arwydd tan deimlad o lawenydd, ac o dristwch. Ac wedi dymuno o hono iddynt draddodi'r llyfrau i'r rhai appwyntiedig i'w derbyn, efe a gyfarchodd y gwŷr; gan ddywedyd nad oedd ond cyfiawn iddo yn gyntaf ymddiddan â hwynt am y neges y daethent atto o'i blegid, ac yna amlygu ei feddyliau yn fwy neillduol iddynt ymherthynas i'r unrhyw. Efe a addaw-

odd, pa fodd bynnag, i wneud y dydd hwnnw ar ba un y daethent atto yn goffadwrus, bob blwyddyn trwy holl ystod ei fywyd: a hynny o herwydd digwydd eu dyfodiad hwy, a'r fuddugoliaeth a gafodd ar Antigonus ar y môr yn yr un dydd. Yna y rhoddodd orchymmyn fod iddynt swppera gyd ag ef; a pharodd i lettŷau rhagorol gael eu darparu iddynt ynghwrr uchaf y ddinas.

Yn awr, yr hwn a appwyntiwyd i ofalu ymherthynas i dderbyniad dieithriaid, Nicanor wrth ei enw, a alwodd am Dorotheus, dyledswydd yr hwn oedd arlwyo cynnaliaeth iddynt: ac a barodd iddo barottoi i bob un o honynt, yr hyn a fyddai angenrhaid i'w diwallu, ac i'w dull o fywioliaeth: yr hyn bethau a orchymmynwyd gan y brenin yn y modd yma. Efe a ofalodd tros y rhai oedd yn perthynu i bob dinas, y rhai nad oeddynt yn arfer yr un dull o fywioliaeth; fel y byddai i bob peth gael ei barottoi iddynt, yn gyfattebol i arferiad y rhai a ddeuent atto; fel trwy gael eu gwledda yn ol eu trefn eu hunain, y boddlonent yn well wrth hynny: ac na anesmwythent o blegid dim a wnaed iddynt, yr hyn y byddent yn wrthwyneb wrth naturiaeth. A hynny yn awr a wnaethpwyd ymherthynas i'r gwŷr hyn gan Dorotheus, yr hwn a ddodasid yn y swydd yma ar gyfrif ei ddeheudra yn y fath fatterion. Canys efe a gymmerodd ofal pob peth a berthynai i ddieithriaid; gan drefnu iddynt eisteddle dyblyg i orphwys arnynt, yn ol gorchymmyn y brenin. Canys efe a archodd fod i un hanner eu heisteddle gyrhaeddyd at eu llaw, a'r hanner arall y tu ol i'w bwrdd: ac efe a ofalodd na adawid o'r neilldu un math o barch a ellid ddangos iddynt. A phan eisteddent fel hyn i lawr, efe a barodd i Dorotheus weini i'r rhai oll a ddeuent atto o Judea yn ol y dull y byddent arferol ag ef. Am ba achos efe a ddanfonodd ymaith eu cennadon cyssegredig, a'r rhai a laddent yr aberthau, ac eraill a arferent ddywedyd gras, neu weddio o flaen prydiau. Ond efe a alwodd ar un o'r rhai a ddygasid atto, enw yr hwn oedd Eleazar, yr hwn oedd offeiriad, gan ddymuno arno ddywedyd gras;* yr hwn a safodd i fynu yn eu canol hwynt, ac a weddiodd, "Am i bob rhyw lwyddiant amgylchynu'r brenin, a'r rhai ag oedd yn ddeiliaid iddo." Ar hyn llefodd yr holl gwmpeini allan: ac wedi hynny hwy a gwympasant i swppera, ac i fwynhau yr hyn oedd o'u blaen; ac ym mhen ychydig yn ol hynny, pan farnodd y brenin fod amser digonol wedi myned heibio, efe a ddechreuodd ymadroddi yn philosophyddaidd wrthynt; ac efe a ofynnodd i bob un o honynt gwestiwn † philosophyddaidd; a'r fath ag a roddai oleuni ymherthynas i'r holiadau hynny. A phan eglurhasant yr holl gwestiwnau a ofynnwyd iddynt gan y brenin, ymherthynas i bob pwngc, cafodd ei foddloni yn eu hattebion. Hyn a gymmerodd i fynu y deuddeng niwrnod ym mha rai y gwleddwyd hwynt. A'r hwn a ewyllysio a all ddysgu gwybod yr holl gwestiwnau neillduol yn y llyfr o eiddo Aristeus, yr hwn a 'sgrifennodd ar yr achos yma. A thra'r oedd nid y brenin yn unig, ond y philosphydd Menedemus hefyd yn eu rhyfeddu, ac yn dywedyd fod y cwbl wrth drefniad rhagluniaeth; ac mai oddiwrth hynny ysgatfydd yr ydoedd, fod y fath awdurdod a phrydferthwch i'w ganfod yn ymadroddion y dynion hyn. Ond y brenin a ddywedodd gael o hono fanteision mawr wrth eu dyfodiad; oblegid iddo dderbyn y llesâd hwn oddiwrthynt, sef, gwybod pa fodd i lywodraethu ei ddeiliaid. Ac a orchymmynodd roddi tair o dalentau i bob un o honynt; a bod i'r rhai a'u cyfarwyddai i'r lletty eu rhoddi iddynt. Yn ganlynol, pan aeth tri diwrnod trosodd, Demetrius a'u cymmerodd hwynt, gan fyned tros y droedffordd hyd saith o 'stadau. Bryn ydoedd ynghanol y môr, wrth ynys. Ac wedi iddynt fyned tros y bont, efe a aeth ym mlaen i'r parthau gogleddol, gan ddangos iddynt pa le y cyfarfyddent, yr hyn ydoedd mewn tŷ a adeiladasid ar lann y môr, yr hwn ydoedd le ta-

* Dyma'r siampl hynaf a gyfarfum â hi o ddywedyd gras neu weddi ferr o flaen bwyd: yr hyn a gafodd ei arfer gan offeiriad cenhedlig, yr hwn oedd un o'r deuddeg a thrugain deonglwyr hyn. Y siampl nesaf a gyfarfum â hi yw yr un hynny gan yr Esseniaid, (Hanes y Rhyf. II. 8.) sef o flaen ac ar ol prydiau. Y nesaf yw ein Hiachawdwr yn gweddio o'i flaen, Marc viii. 6. Ioan vi. 11, 23. a St. Paul, Act. xxvii. 35. Y nesaf yw ffurf o'r fath ras neu weddi i Gristionogion yn niwedd y V. llyfr o'r Gosodedigaethau Apostolaidd; yr hwn a ymddengys wedi ei fwriadu o flaen ac ar ol bwyd.

† Yn hytrach cwestiwnau ac attebion ar achosion gwladol oeddynt, yn tueddu at lesâd a threfniadau moesol ym mysg dynolryw.

wel cymmwys iddynt i gydymddiddan ynghylch eu gwaith. Wedi iddo eu dwyn hwy yno, efe a ddymunodd yn awr (a chanddynt bob peth o'u hamgylch ag oedd yn niffyg arnynt tu ag at gyfieithad eu cyfraith), na oddefent i ddim eu haflonyddu yn y gwaith. Yn ganlynol, hwy a wnaethant gyfieithiad cywrain gyd â sêl a llafur mawr; ac a barhaent i'w wneuthur hyd y nawfed awr o'r dydd. Yn ol hynny hwy a roddent heibio, ac a orphwysent eu hunain, tra 'r oedd eu lluniaeth yn cael ei barottoi iddynt mewn helaethrwydd mawr; heblaw hyn Dorotheus, wrth orchymmyn y brenin, a ddug lawer iddynt o'r hyn a arlwyid i'r brenin ei hun. Ond yn y bore hwy a ddeuent i'r llŷs i gyfarch Ptolemy; ac yna a aent ymaith i'w lle cyntaf; ym mha le, pan * olchent eu dwylaw, a phuro eu hunain, hwy a aent ymaith at gyfieithu y cyfreithiau. Yn awr, wedi gorphen adsgrifennu 'r gyfraith, a llafur cyfieithu wedi myned trosodd, yr hwn a ddaeth i derfyniad mewn deuddeg a thrugain o ddiwrnodiau, Demetrius a gasglodd yr holl Iuddewon ynghyd, i'r man y tröwyd y cyfreithiau, lle'r oedd y cyfieithwyr yn bresennol, ac a'u darllennodd trosodd. Y lliaws hefyd a gymmeradwyasant yr henuriaid hynny a gyfieithasent y gyfraith. Hefyd, canmolasant Demetrius am ei annogaeth o'r gwaith, ac arfaethwr yr hyn oedd yn tueddu i'w mawr happusrwydd; ac a ddymunasant roddi o hono gennad hefyd i'w llywodraethwyr i ddarllen y gyfraith. Ym mhellach, darfu iddynt oll, sef yr offeiriaid, a'r rhai mwyaf oedrannus o'r henuriaid, a gwŷr pennaf eu gwladwriaeth ei wneud yn ddeisyfiad iddynt, mai gan fod y cyfieithad yn awr wedi ei ddedwyddol orphen, ar fod iddo barhau yn y cyflwr yr ydoedd yn awr, ac na newidid mo'no. A thra'r oeddynt oll yn cymmeradwyo'r penderfyniad hwnnw; a chwanegasant, os byddai i neb sylwi ar unrhyw beth a fyddai â gormodedd yn perthyn iddo, neu arall wedi ei adael ar ol, ar fod iddo ei olygu drachefn, a pheri ei osod o'u blaen, a'i ddiwygio; yr hyn oedd weithred ddoeth o'r eiddynt, fel pan gyd-fernid y peth wedi ei wneud yn gywir, ar fod iddo aros fyth felly.

Felly y brenin a lawenychodd pan welodd ei fwriadau wedi eu dwyn i berffeithrwydd tueddol i'r fath fanteision. Ac yr ydoedd yn ymhyfrydu ynghlywedigaeth y cyfreithiau a ddarllennid iddo: ac yr ydoedd yn rhyfeddu wrth ddwfn ystyr, a doethineb y deddf-roddwr. Ac efe a ddechreuodd ofyn i Demetrius, pa fodd y daeth o gwmpas, mai pan oedd gosodiad y gyfraith yma yn beth mor hynod, nad oedd un o'r beirdd neu hanesyddion cenhedlig yn crybwyll am dano. Demetrius a attebodd, na feiddiai neb fod mor hŷ a chyffwrdd â descrifiad o'r cyfreithiau hyn, o herwydd eu bod yn ddwyfol ac yn barchus; ac o herwydd i rai a gynnygiasai wneuthur hynny gael eu cystuddio gan Dduw. Dywedodd hefyd ddarfod i Theopompus ewyllysio ysgrifennu rhyw beth ymherthynas iddynt; ond iddo ar hynny ddyrysu yn ei synwyrau tros ychwaneg na deng niwrnod ar hugain. Ac wedi llaesu peth o'i anhwyl, efe a gafodd esmwythâu arno trwy weddio ar Dduw; a chan gydnabod i'w anhwyldeb darddu oddiwrth yr achos rhagddywededig. Ië, yn wir efe a welodd ymhellach mewn breuddwyd, ddarfod i'r anhwyldeb ei orddiwes, o herwydd ei duedd i graffu i mewn yn rhyfygus i bethau dwyfol; gan fwriadu gosod allan ei feddyliau cyffredin yn eu cylch ym mysg dynion dienwaededig; ond pan roddodd heibio ei amcan, efe a adferwyd i'w iawn synwyrau drachefn. Ymhellach, efe a hyspysodd iddo am Theodoctes, y prydydd galarnadus; ymherthynas i ba un yr adroddir, mai ar ryw ymddangosiad chwareyddiaethol, pan yr oedd yn ewyllysio crybwyll am beth a gynnwysai y llyfrau cyssegredig, efe a flinwyd â thywyllni yn ei lygaid. A chan ei gyhuddo gan ei gydwybod, o'r achos o hono, a gweddio ar Dduw, efe a ryddhawyd oddiwrth ei gystuddiau.

Wedi i'r brenin dderbyn y llyfrau hyn gan

* Y puredigaeth hwn a arferodd y cyfieithwyr, trwy ymolchi yn y môr, cyn gweddio ar Dduw, bob boreu; a chyn myned ynghylch cyfieithu, a ellir ei gydmaru â'r cyffelyb ymarferiad o eiddo St. Pedr yr Apostol, yn adgoffadwriaethau St. Clement, IV. 3. V. 36. VIII. 1. a chyd â'r lleoedd o'r Proseuchæ, neu weddi, y rhai weithiau a adeiladid yn agos i'r môr, neu afonydd. Am ba ryw achos gwel XIV. 10. ac Act. xvi. 13, 16.

gan Demetrius, fel y dywedasom eisoes, efe a'u baddolodd hwynt; gan orchymmyn am gymmeryd gofal mawr am danynt, ar fod iddynt gael eu cadw'n ddi lwgr. Efe hefyd a ddymunodd i'r cyfieithwyr ddyfod yn fynych i ymweled ag ef o Judea; a hynny ar gyfrif y parch a ddangosai iddynt, a'r anrhegion a dderbynient ganddo. Canys dywedodd nad oedd ond cyfiawn iddo yn awr eu danfon ymaith; er os deuent o honynt eu hunain atto yn ol hynny, y byddai iddynt gael mwynhau y cwbl a ofynnid, o'u doethineb cyfiawn, ganddynt, yr hyn yr oedd ei haelioni ef yn abl i gyfrannu iddynt. Felly, yn ol hyn, efe a'u gollyngodd ymaith; gan roddi tair gwisg i bob un, o'r fath oreu; dwy dalent o aur; cwppan o werth un dalent; a dodrefn yr ystafell y'mha un y gwleddent. A'r pethau hyn a wnaeth yn anrheg iddynt. Ond gyd â hwynt efe a anfonodd i Eleazar yr archoffeiriad, ddeg o welŷau, a thraed o arian, a'r dodrefn perthynol iddynt; a chwppan o werth deg ar hugain o dalentau. Ac heblaw y rhai hyn, deg o wisgoedd, a phorphor, a choron dra ardderchog; a chan darn o liain meinwych; a chostrelau hefyd, a dysglau, a llestri tywalltol; a dwy gerwyn aur, i'w cyssegru at wasanaeth Duw. Dymunodd hefyd arno, mewn epistol, os ewyllysiai neb o'r cyfieithwyr ddyfod i aros gyd ag ef, roddi o hono ei gydsyniad i'r cyfryw am ei fod yn gweled gwerth mawr o gael cymdeithasu â'r cyfryw wŷr o ddysg a duwioldeb; ac y byddai yn dra ewyllysgar i dreulio ei gyfoeth mewn pob math o annogaeth i'r cyfryw ddynion. A dyma'r hyn a ddaeth i'r Iuddewon, ac ydoedd er eu mawr ogoniant a'u hanrhydedd, oddiwrth Ptolemy Philadelphus.

## PENNOD III.

*Am yr Anrhydedd a'r Rhagorfreintiau a gyfranwyd ar genedl yr Iuddewon, gan frenhinoedd Asia.*

YR Iuddewon hefyd a dderbyniasant anrhydedd oddiwrth frenhinoedd Asia, pan ddaethant yn gynnorthwywyr iddynt. Canys Soleucus Nicator a'u gwnaeth yn ddinasyddion o'r dinasoedd a adeiladodd efe yn Asia, ac yn Syria Isaf, ac ym mhrif-ddinas Antioch; ac a ganiattaodd iddynt ragorfreintiau cydradd â'r rhai hynny o'r Macedoniaid a'r Groegiaid ag oedd yn preswylio yno; yn gymmaint a bod y rhagorfreintiau hynny yn parhau hyd y dydd hwn. Cadarnhad o hono a geir yn hyn; am' nad yw yr Iuddewon yn gwneud defnydd * o olew gwneuthuredig gan ddieithriaid, y maent yn derbyn swm o arian gan eu swyddogion fel gwerth yr olew; pa ryw arian pan geisiodd pobl Antioch eu difuddio o honynt, yn y rhyfel diweddaf, Mucianus, yr hwn ydoedd y pryd hwnnw yn rhaglaw Syria, a'i cadwodd iddynt. A phan ddarfu i bobl Alexandria ac Antioch yn ol hynny, yn yr amser ag yr oedd Vespasian a Thitus ei fab yn llywodraethu'r byd cyfanneddol, ddeisyf fod i'r rhagorfraint o ddinasyddion gael ei symmud oddiwrthynt, ni chawsant eu dymuniad. Ym mha ymddygiad gall y neb a fynno ganfod † uniondeb a rhywiogrwydd y Rhufeiniaid, yn enwedig Vespasian a Thitus; y rhai er darfod iddynt fod mewn llafur a blinder mawr yn y rhyfel â'r Iuddewon, ac wedi eu cyffroi i ddigofaint yn eu herbyn, o herwydd na roddent eu harfau i lawr; ond yn parhau i ryfela hyd y diweddaf. Etto ni chymmerasant oddiwrthynt un rhagorfraint a berthynai iddynt fel dinasyddion; ond a wrthsafasant genfigen eu caseion, ac a wrthodasant wrandawiad i ddeisyfiadau yr Alexandriaid a'r Antiochiaid, y rhai oeddynt wŷr grymmus a galluog: etto ni chydsyniasant â hwynt o ran ffafr i'r bobl hyn, nac ar gyfrif yr ymrysoniad a fuasai rhyngddynt â rhai a ddarostyngasent yn y rhyfel. Ac ni fynnent newid dim ar y breintiau

* Y defnydd o olew ydoedd lawer mwy, a'r anrhegiad o hono yn llawer gwerthfawroccach yn Judea, a'r gwledydd cymmydogaethol, na chyd â ni. Yr oedd hefyd yn nyddiau Josephus yn cael ei gyfrif yn anghyfreithlon i'r Iuddewon i wneuthur defnydd o un math o olew wedi ei drin gan genhedloedd: ysgatfydd ar gyfrif rhyw gyfaredd cymmysgedig â'i barottoad gan y cenhedloedd. Gan hynny, pan fyddai cenhedloedd i wneuthur anrhegiad o olew i'r Iuddewon, hwy a'i talent yn arian yn ei le. Gwel Am y Rhyf. II. 19. a nod Hudson ar y lle o'n blaen.

† Hon, a chyffelyb dystiolaethau am gyfiawnder, uniondeb, a haelioni y Rhufeiniaid tu ag at yr Iuddewon, a chenhedlaethau darostyngol eraill, sydd yn arwyddo achos da i ni, pa ham y darfu i'r Hollalluog Dduw, ar wrthodiad yr Iuddewon am eu drygioni, wneuthur dewisiad o honynt hwy yn bobl; a sefydlu Cristionogrwydd gyntaf yn yr ymerodraeth honno. Am ba achos, gwel Constut. Apost. V. 20. ac Euseb. ap. Prim.Christ. revived, III. t. d. 456, 457. a Josephus XIV. 10 a XVI. 14.

a ganiattasid o'r blaen i'r Iuddewon: ond a ddywedasant am y rhai a ddygasent arfau yn eu herbyn, ac a ymladdasant â hwynt, eu bod wedi derbyn cospedigaeth yn barod; ac nad oedd gyfiawn i ddifuddio y rhai na throseddasant, o'r breintiau yr oeddynt yn eu mwynhau.

Gwyddom hefyd, fod Marcus Agrippa o'r cyffelyb dueddiad tu ag at yr Iuddewon. Canys pobl Ionia ydoedd dra digllon wrthynt; ac a ddeisyfiasant ar Agrippa, fod iddynt hwy, a hwy yn unig, fwynhau breintiau dinasyddion; yr hyn a ddarfuasai i Antiochus, ŵyr Seleucus, yr hwn gan y Groegiaid a elwid "y duw,"* gyfrannu iddynt: gan ddymuned os byddai raid i'r Iuddewon fod yn gydgyfrannogwyr â hwynt, y rhwymid hwynt i addoli'r duwiau yr oeddynt hwythau yn eu haddoli: ond wedi dwyn y matterion hyn i brofiad, yr Iuddewon a orfuant, gan gael cennad i arferyd eu defodau eu hunain, a hyn dan ymgeleddiad Nicolaus o Damascus. Canys Agrippa a roddodd ddedryd na allai wneuthur cyfnewidiad. Ac os bydd chwant ar ryw un i wybod y matter hwn yn gywir, darllennant y trydydd a'r pedwerydd llyfr ar hugain a chant o hanesiad y Nicolaus hwn. Yn awr, am y penderfyniad hwn o eiddo Agrippa, nid ydyw i'w ryfeddu; canys y pryd hynny nid oedd rhyfel rhwng ein cenedl ni a'r Rhufeiniaid. Ond gall un ryfeddu wrth dynerwch Vespasian a Titus; fel ar ol cymmaint o ryfel ac ymryson a fu rhyngddynt â ni, iddynt arfer y fath gymmedroldeb tu ag attom. Ond mi ddychwelaf yn awr at y rhan hynny o'm hanes, oddiwrth ba un yr ymadewais gymmaint.

Digwyddodd yn nheyrnasiad Antiochus † y mwyaf, yr hwn oedd yn llywodraethu ar holl Asia, ddarfod i'r Iuddewon, yn gystal a phreswylwyr Cœlesyria, ddioddef yn fawr; a'u gwlad a anrheithiwyd. Canys pan ydoedd efe mewn rhyfel â Ptolemy Eupator, ‡ ac â'i fab, yr hwn a elwid Epiphanes, fe ddigwyddodd orfod i'r cenhedlaethau hyn fod yn gydradd ddioddefwyr pan orchfygid ef, a phan orchfygai yntau eraill. Felly'r oeddynt yn gyffelyb i long mewn tymestl, yr hon y curir i'w herbyn gan donnau o bob tu: ac yn gymmwys fel hyn yr oeddynt rhwng amgylchiad llwyddiannus ac aflwyddiant Antiochus. Ond o'r diwedd wedi i Antiochus orchfygu Ptolemy, efe a oresgynnodd Judea. Ac wedi marw Philopator, ei fab a ddanfonodd allan fyddin liosog tan Scopas cad-flaenor ei luoedd, yn erbyn preswylwyr Cœlesyria; y rhai a gymmerasant amryw o'u dinasoedd, ac yn enwedig yn ein gwlad ni, y rhai wedi iddo syrthio arnynt a aethant trosodd atto ef. Etto nid ydoedd hir ar ol hynny nes i Antiochus orchfygu Scopas, mewn brwydr a ymladdwyd wrth ffynhonnau'r Iorddonen, ac a ddifethodd ran fawr o'i fyddin. Ond yn ol hynny wedi i Antiochus ddarostwng y dinasoedd perthynol i Cœlesyria, y rhai a ynnillasai Scopas, a Samaria gyd â hwynt; yr Iuddewon o honynt eu hunain a aethant trosodd atto ef, ac a'i derbyniasant i Jerusalem, gan ddiwallu yn helaeth ei holl fyddin, ynghyd â'i elephantiaid; gan fod yn barod i'w gynnorthwyo i gymmeryd y wersyllfa oedd yn nhŵr Jerusalem. Am hynny barnodd Antiochus nad oedd ond cyfiawn iddo wobrwyo'r Iuddewon am eu diwydrwydd a'u sel yn ei wasanaeth: felly efe a ysgrifennodd at flaenoriaid ei fyddinoedd, a'i gymdeithaswyr; gan roddi tystiolaeth o ewyllys da'r Iuddewon tu ag atto, a'u sel yn ei wasanaeth; ac a hyspysodd iddynt pa wobrwyon yr oedd wedi penderfynu ei wneuthur iddynt am yr ymddygiad hwnnw. Gosodaf ar fyrr i lawr yr epistolau eu hunain, y rhai a 'sgrifennodd at ei gadfridogion ymherthynas iddynt: ond yn gyntaf dygaf ger bron dystiolaeth Polybus o Megalopolis; canys fel hyn y dywed efe, yn yr unfed llyfr ar bymtheg o'i hanesyddiaeth: "Yn awr Scopas, llywydd byddin Ptolemy, a aeth gyd â brys i barthau rhagorafy wlad; ac yn y tymmor gauaf a ddadymchwelodd genedl yr Iuddewon." Dywed hefyd yn yr un llyfr, "Wedi buddugoliaethu ar Scopas gan Antiochus, efe a feddiannodd Ba-

* Ddarfod galw yr Antiochus hwn yn Antiochus y duw, gan y Milesiaid—gwel Appian Syriac, t.d. 210, a goffeir mewn nôd ar y lle hwn..

† Am yr Antiochus Mawr hwn, a'i ryfeloedd â Ptolemy Philopator, a Ptolemy Epiphanes, Spanheim a Hudson a barant i ni yma gydmaru Polybius, V. 85. a'r Exerpta allan o Polybius, cyhoeddedig gan Valesius, t. d. 76, 77, 79. a Hieronimus yn Daniel xi. Ond nodwch, fod y rhannau hynny o'r XVI. llyfr i Polybius a grybwyllir yn fuan gan Josephus, wedi myned ar goll.

‡ Neu yn hytrach Philopator

tanea, Samaria, Abila, a Gadara: ac, ryw amser yn ol hynny, daeth i mewn atto'r Iuddewon hynny ag oedd yn preswylio yn agos i'r deml, pa le a elwid Jerusalem: ymherthynas i'r hyn, er fod gennyf ychwaneg i'w ddywedyd am bresennoldeb Duw ynghylch y deml honno; etto yr wyf yn gadael hynny heibio hyd gyfleusdra arall." Hyn yw'r peth a adrodda Polybius. Ond ni a ddychwelwn at ganlyniadau'r hanes, wedi i ni yn gyntaf draddodi epistolau y brenin Antiochus.

Y BRENIN ANTIOCHUS AT PTOLEMY, YN ANFON ANNERCH.

"Gan ddarfod i'r Iuddewon, ar ein dyfodiad cyntaf i'w gwlad, ddangos caredigrwydd tu ag attom; a phan ddaethom i'w dinas (Jerusalem) dderbyn o honynt ni yn llawen, gan ddyfod i'n cyfarfod gyd â'u seneddwyr, a rhoddi ymborth yn ddigonol i'n milwyr, a'r elephantiaid; gan uno gyd â ni yn nadymchweliad y wersyllfa o Aiphtiaid ag oedd yn y tŵr; nyni a dybiasom yn gymmwys eu gwobrwyo hwynt, ac adferyd cyflwr eu dinas, yr hon a ddi-boblogwyd yn fawr, trwy 'r cyfryw ddamweiniau ag a oddiweddodd ei phreswylwyr; ac i ddychwelyd yn ol y rhai a wasgarwyd o'r ddinas. Ac yn y lle cyntaf, ni benderfynasom, o herwydd eu crefydd tu ag at Dduw, i gyfrannu iddynt, fel caniattad blynyddol tu ag at eu haberthau, o greaduriaid byw, cymmwys i'w haberthu. Am win, olew, a thus, gwerth ugain mil o ddarnau arian; chwech artabæ y cyssegr o beilliad; gyd ag un mil, pedwar cant a thrugain medimni o wenith; a thri chant a phymtheg a thrugain o halen. A'r taliadau hyn a fynnwn eu talu iddynt yn gyflawn, fel yr anfonais orchymmyn attoch chwi. Mynnwn hefyd fod i'r gwaith o amgylch y deml gael ei orphen, ynghyd â'r 'stafelloedd; a rhyw bethau eraill a ddylid eu hailadeiladu. Ac am y defnyddiau o goed, dyger hwynt o Judea, ac o wledydd eraill, ac o Libanus, yn ddi dreth: a'r cyffelyb a fynnwn ei wneuthur ymherthynas i ddefnyddiau eraill, y rhai a fyddo'n angenrhaid mewn trefn i wneud y deml yn fwy gogoneddus. A chaffed pawb o'r genedl honno fyw yn ol cyfreithiau eu gwlad: a bydded i'r seneddwyr, a'r offeiriaid, a 'sgrifenyddion y deml, a'r cantorion, fod yn rhyddion oddiwrth dreth bersonol, a threth y goron, a threthi eraill hefyd. Ac fel y bo'r ddinas yn gynt gael adferyd ei thrigolion, yr wyf yn caniattau rhyddhad oddiwrth drethi i'w phreswylwyr tros dair blynedd; ac i'r cyfryw a ddel i aros ynddi cyn y mis Hyperberetens. Yr ydym hefyd yn eu rhyddhau tros yr amser i ddyfod oddiwrth y drydedd ran o'u trethi; fel y byddo i'r colledion a gawsant gael eu hadferyd. A'r holl ddinasyddion a gludwyd ymaith, ac a gymmerwyd yn gaethion, yr ydym yn caniattau iddynt hwy a'u plant gael eu gwneud yn rhyddion; ac yn rhoddi gorchymmyn fod i'w heiddo gael ei adferyd iddynt."

Antiochus hefyd a gyhoeddodd orchymmyn, trwy ei holl deyrnas, i anrhydeddu'r deml, ac yn yn cynnwys yr hyn a ganlyn:

"Ni fydd gyfreithlon i neb rhyw ddieithriaid ddyfod o fewn i derfynau'r deml o amgylch ogylch: yr hyn beth a waherddir hefyd i'r Iuddewon, oddigerth i rai, yn ol eu defod hwy, a burasant eu hunain. Ac na ddyger dim cig ceffylau, mulesau, neu fulod, i'r ddinas ar werth, pa un bynnag ai gwyllt neu ddof a fyddant; neu ychwaith llewpardiaid, llwynogod, neu ysgyfarnogod; ac yn gyffredinol unrhyw greadur byw arall a waherddir yn ymborth i'r Iuddewon, ac na ddyger eu crwyn iddi: ac na fager i fynu y cyfryw greaduriaid o fewn i'r ddinas. Caniattäer iddynt yn unig ddefnyddio'r aberthau a draddodwyd iddynt gan eu hynafiaid; â'r rhai y rhwymwyd hwynt i wneuthur gwasanaeth cymmeradwy gan Dduw. A'r hwn a droseddo yn erbyn rhai o'r annogaethau hyn, taled i'r offeiriaid dair mil drachmæ o arian." Ymhellach, yr Antiochus hwn a ddygodd dystiolaeth i'n duwioldeb a'n ffyddlondeb, mewn epistol o'r eiddo ef, pan ei gwnaethpwyd yn hyspys o ymrysoniad yn Phrygia a Lydia, ar ba amser yr oedd yn y taleithiau uwchaf; yn mha le y gorchymmynodd i Zeuxis, pennaeth ei luoedd, a'i gymdeithaswr nesaf, i ddanfon rhai o'n cenedl ni o Babilon i Phrygia. Yr epistol ydoedd hyn:

Y BRENIN ANTIOCHUS, AT ZEUXIS EI DAD, YN ANFON ANNERCH.

"Os ydwyt mewn iechyd dymunol, da ydyw: canys minnau hefyd ydwyf yn iach. Wedi fy hyspysu fod terfysg yn cyfodi yn Lydia a Phrygia, tybiais fod y matter hwnnw yn galw am fawr ofal. Ac wedi ymgynghori â'm cyfeillion pa beth oedd oreu i'w wneuthur, tybiwyd yn gymmwys symmud dwy fil o deuluoedd o Iuddewon, gyd â'u heiddo, allan o Mesopotamia a Babilon, i'r castelli, a'r lleoedd ag sy'n gorwedd yn fwyaf mewn cyfleusdra. Canys fe'm perswadir y byddant yn wyliedyddion da ar y lleoedd a berchennogir gennym ni, o herwydd eu crefydd tu ag at Dduw; ac o herwydd y gwn fod fy hynafiaid yn dwyn tystiolaeth trostynt, eu bod yn ffyddlon; a chyd â sirioldeb yn cyflawni yr hyn a ddymunid ganddynt. Fy ewyllys gan hynny yw, er ei fod yn waith llafurus, symmud o honot yr Iuddewon hynny; trwy addaw y caniattëir iddynt arferyd eu cyfreithiau eu hunain. Ac wedi dwyn o honot hwynt i'r lleoedd rhag-grybwylledig, ti a osodi i deuluoedd pawb o honynt le i adeiladu eu tŷau, a chyfran o dir i'w hwsmonaethu, ac i blannu eu gwinwydd ynddo. A thi a'u rhyddhai oddiwrth dalu trethi o ffrwythau y ddaear am ddeng mlynedd. A gadawer iddynt gael mesur cymmwys o wenith at gynnaliaeth eu teuluoedd, nes y tynnont ŷd bara allan o'r ddaear. A bydded i gyfran ddigonol o angenrheidiau bywyd gael ei drefnu i'r rhai sydd yn gweinidogaethu iddynt; fel trwy fwynhau effaith ein dynoliaeth, y dangosont eu hunain yn fwy ewyllysgar a pharod ynghylch ein hachosion. Cymmer ofal hefyd ynghylch pobl y genedl honno mor bell ag y byddo yn dy allu; fel na chaffont aflonyddwch oddiwrth neb rhyw rai, pwy bynnag." Yn awr, y tystiolaethau hyn, a gefais, ydynt ddigonol i ddangos yr ewyllys da oedd gan Antiochus Fawr tu ag at yr Iuddewon.

## PENNOD IV.

*Am y Cyngrair rhwng Antiochus a Ptolemy; yr anfoddlonrwydd a roddwyd i Ptolemy Euergetes gan Onias; ymddygiad synwyrgall Joseph; ac achosion ei fab Hyrcanus.*

AR ol hyn, Antiochus a aeth yn gyfeillgar, ac a wnaeth gyngrair â Ptolemy; ac a roddodd iddo ei ferch * Cleopatra yn wraig: a rhoddodd i fynu iddo Cœlesyria, Samaria, Judea, a Phœnicia, mewn ffordd o waddol neu gynhysgaeth. Ac ar raniad y trethi rhwng y ddau frenin, y gwŷr pennaf a hwsmonaethasant y trethi perthynasol i'w hamryw ardaloedd; a chan wneuthur casgliad o'r swm a osodid iddynt, hwy a dalent yr unrhyw i'r ddau frenin. Yn awr, yr amser hwn yr ydoedd y Samariaid mewn cyflwr blodeuog; ac yn blino yn fawr yr Iuddewon, gan ddwyn ymaith ran o'u tir, a chymmeryd rhai yn gaethion. Hyn a ddigwyddodd pan oedd Onias yn archoffeiriad. Canys ar ol marw Eleazar, ei ewythr Manasseh a gymmerodd yr archoffeiriadaeth: ac yn ol iddo ddiweddu ei fywyd, Onias a dderbyniodd yr anrhydedd hwnnw. Efe ydoedd fab Simon, yr hwn a elwid y Cyfiawn, yr hwn Simon ydoedd frawd Eleazar, fel y † dangosais o'r blaen. Yr Onias hwn ydoedd un o amgyffred bychan, ac yn awyddus i gyfoeth: ac am y rheswm hwnnw, o herwydd na thalai y dreth o ugain talent o arian, yr hyn a dalai ei dadau i'r brenhinoedd hyn, o'u heiddo eu hunain, efe a gynnyrfodd y brenin Ptolemy Euergetes i ddigofaint tu ag atto, yr hwn oedd dad Philopator. Yr Euergetes hwn a ddanfonodd gennadwr i Jerusalem, ag achwyniaeth yn erbyn Onias am na thalai ei drethoedd; gan fygwth os na dderbyniai hwynt, y cymmerai feddiant o'u tir, ac y dodai filwyr i fyw arno. Pan glybu'r Iuddewon y neges hwn oddiwrth y brenin, hwy a derfysgwyd. Ond mor dra chybyddlyd ydoedd Onias, na wnai dim o'r natur yma iddo gywilyddio.

Yr ydoedd yn awr un ‡ Joseph, ieuangc mewn oedran, ond a chlod mawr iddo ym mysg pobl Jerusalem am sobrwydd, pwyll, a chyfiawnder. Enw ei dad oedd Tobias, a'i fam oedd chwaer i Onias yr archoffeiriad; yr hwn a'i hyspysodd ef am ddyfodiad y cennadwr; canys yr oedd efe y pryd hynny yn ymdaith mewn tref fechan a elwid

* Spanheim sydd yn sylwi yma, fod y briodas hon rhwng Ptolemy a Cleopatra, yn cael adrodd am dani gan Appian yn ei Syriaca, t. d. 88.

† Pen. III. ‡ Ynghylch Bl. 226.

Phicol,* lle y ganesid ef. Ar hyn efe a ddaeth i Jerusalem, ac a geryddodd Onias am nad oedd yn gofalu tros ddiogelwch ei gydwladwyr; ond yn dwyn y genedl tan beryglon trwy ommedd talu yr arian dyledus arno. Er y cyfryw ddiogelwch iddynt, dywedodd wrtho ei fod ef wedi derbyn awdurdod arnynt, a chael ei wneud yn archoffeiriad. Ond os oedd efe yn caru ei arian gymmaint ag i oddef gweled ei wlad mewn perygl ar y cyfrif hwnnw, a bod i'w gydwladwyr gael dioddef mawr niweid; efe a'i hannogodd i fyned at y brenin, i ddeisyfu arno faddeu'r cyfan, neu ran o'r swm a ofynnai. Onias a attebodd, nad ydoedd yn gofalu ynghylch ei awdurdod; a'i fod ef yn barod, os oedd y peth yn ymarferadwy, i ddodi ei archoffeiriadaeth i lawr; ac nad ai efe ddim at y brenin; o herwydd nad oedd yn blino ei hunan oll ynghylch y fath fatterion. Yna Joseph a ofynnodd iddo a roddai gennad iddo ef fyned yn gennadwr tros y genedl? Attebodd y caniattäi hynny iddo. Ar hyn Joseph a aeth i fynu i'r deml, gan alw y lliaws ynghyd yn gynnulleidfa; ac a'u cynghorodd i beidio a therfysgu, neu arswydo o blegid esgeulusdra ei ewythr Onias; ond dymuned arnynt ymlonyddu, ac na chymmerent ddychryn o'i herwydd: canys addawodd y byddai efe yn gennadwr trostynt at y brenin, ac y perswadiai efe ef na wnai iddynt ddim niweid. Ac wedi i'r lliaws glywed hyn, hwy a ddychwelasant ddiolch i Joseph. Felly efe a aeth i wared o'r deml, ac a roesawodd gennadwr Ptolemy mewn modd anrhydeddus. Efe hefyd a'i hanrhegodd â rhoddion godidog, ac a'i gwleddodd yn haelionus tros amryw ddyddiau; ac yna a'i danfonodd ymaith at y brenin o'i flaen; gan ddywedyd y byddai iddo ef yn fuan ei ddilyn. Canys yr ydoedd yn awr yn fwy ewyllysgar i fyned at y brenin trwy annogaeth y cennadwr; yr hwn a'i perswadiodd yn daer i ddyfod i'r Aipht; gan addaw y derbyniai bob peth a ddymunai gan Ptolemy. Canys efe a foddhasid yn fawr â'i dymmer rydd a haelionus, â boneddigeiddrwydd ei ymddygiad.

Wedi i gennadwr Ptolemy ddyfod i'r Aipht, dywedodd i'r brenin am dymmer anystyriol Onias; ac a'i gwnaeth yn hyspys o dueddd canmoladwy Joseph; a'i fod ef yn dyfod atto i esgusodi'r bobl, fel rhai heb wneuthur dim trosedd; a'i fod ef yn gynnrychiolwr iddynt. Yn fyrr, yr ydoedd morwresog yn ei glod i'r dyn ieuangc, ag y tueddodd y brenin, a'i wraig Cleopatra, i serchu ynddo cyn ei ddyfodiad. Felly Joseph a ddanfonodd at ei gyfeillion yn Samaria, gan fenthycca arian ganddynt; ac a barottodd yr hyn oedd angenrheidiol i'w daith; gwisgoedd, a chwppanau, ac anifeiliaid i ddwyn beichiau, ag oedd yn cyrraedd i ynghylch ugain mil o drachmæ; ac efe a aeth i Alexandria. Yn awr, fe ddigwyddodd y pryd hwn fod yr holl bennaethiaid, a llywodraethwyr y bobl yn myned i fynu o ddinasoedd Syria a Phœnicia i gynnyg ar eu trethoedd. Canys y brenin bob blwyddyn a'u gwerthai i wŷr mwyaf eu hawdurdod ymhob dinas. Felly y gwŷr hyn a ganfuant Joseph yn ymdaith yn ei ffordd; ac a chwarddasant am ei ben, o blegid ei olwg dlawd ac isel. Ond pan ddaeth i Alexandria, a chlywed fod y brenin Ptolemy ym Memphis, efe a aeth i fynu yno i gyfarfod ag ef; yr hyn a ddigwyddodd pan oedd y brenin yn eistedd yn ei gerbyd, gyd â'i wraig a'i gyfaill Athenion; yr hwn oedd yr unig ŵr a fuasai yn gennadwr yn Jerusalem, ac a roesawyd gan Joseph. Gan hynny, mor fuan ag y canfu Athenion ef, efe a'i gwnaeth yn adnabyddus i'r brenin, pa fath ŵr ieuangc haelionus a daionus ydoedd. Felly Ptolemy a'i cyfarchodd, ac a barodd iddo ddyfod i fynu i'w gerbyd: ac fel yr oedd Joseph yn eistedd yno, y brenin a ddechreuodd achwyn ar drefniadau Onias. I'r hyn yr attebodd, "Maddeu iddo ar gyfrif ei oedran, canys ni elli yn ddiau fod yn anadnabyddus o hyn, fod hen ddynion a mabanod yn gyffelyb eu meddyliau i'w gilydd. Ond ti a dderbynni gennym ni, y rhai ŷm ddynion ieuaingc, yr hyn oll ag wyt yn ei ddymuno, ac ni chei ddim achos i achwyn." A'r ymadroddion ac â'r dymmer ddymunol hon o eiddo'r gwr ieuangc, boddhawyd y brenin mor fawr, ag iddo ddechrau yn barod,

* Enw y lle yma Phicol, yw yr un yn gymmwys a'r hwn y gelwid prif-gadben llu Abimelech arno, yn nyddiau Abraham, Gen. xxi. 22. ac a allai yn bossibl fod y lle o enedigaeth neu drigfa y Phicol hwnnw: canys ymddengys ei fod yn y parth deheuol o Palestine, megis yr oedd yntau.

fel pe buasai ganddo hir brofiad o hono, ei serchu yn fawr; yn gymmaint ag erchi o hono iddo gymmeryd ei luniaeth yn nhŷ 'r brenin, a bod beunydd yn un o'r gwahoddedigion wrth ei fwrdd. Ond pan ddaeth y brenin i Alexandria, pennaethiaid Syria a'i gwelsant yn eistedd gyd â'r brenin, ac yr oeddynt yn dra thramgwydded-ig o'i herwydd.

Pan ddaeth y diwrnod ym mha un yr oedd y brenin i osod trethi'r dinasoedd i farchnattäwyr o honynt, a'r rhai ag oedd wŷr pennaf mewn derchafiad yn eu hamrywiol ardaloedd oeddynt i gynnyg arnynt: swm y trethi ynghyd yn Cœlesyria, Phœnicia, Judea, a Samaria, megis y cynnygiwyd arnynt, a ddaethant i wyth mil o dalentau. Ar hyn Joseph a gyhuddodd gynnyg-wyr y trethi, megis rhai a gyd-gyttunasent â'u gilydd i wneud cyfrifiad o werth y trethoedd ar ammodau rhy isel; ac efe a addawodd y rhoddai ei hun gymmaint ddwywaith am danynt: ac am y rhai na thalent, efe a ddanfonai adref i'r brenin eu holl eiddo: canys y rhagorfraint yma a gyd-werthid â'r trethoedd eu hunain. Y brenin ydoedd dda ganddo glywed y fath gynnygiad; ac o herwydd y chwanegai at ei deyrnged; dywedodd y cadarnhai werthiad y trethi iddo ef. Ond yma efe a ofynnodd, pa un a oedd ganddo feichnïon, a'r rhai hynny'n rhai a ymrwymai tros dâl yr arian? Efe a attebodd yn dra siriol, "Myfi a roddaf feichnïon, a'r rhai hynny yn rhai cywir ac attebol am y ddyled; a'r rhai na fydd gennych ddim achos o anhyder ynddynt." A phan barodd iddo eu henwi hwynt, pa rai oeddynt; attebodd, "Ni roddaf bersonau eraill trosof yn feichnïon amgen na thi dy hun, O frenin, ynghyd a'th wraig hon; a chwi a gewch feichnïo tros y ddwy-blaid." Felly Ptolemy a chwarddodd wrth y cynnygiad: ac a ganiattaodd iddo farchnadyddiaeth y trethoedd heb ddim meichnïon. Y weithred hon a fu o fawr dristwch i'r rhai a ddaethant o'r dinasoedd i'r Aipht, y rhai a siommwyd yn fawr; a hwy a ddychwelasant bob un gyd â chywilydd i'w wlad.

Ond Joseph a gymmerodd ddwy fil o wŷr traed gyd ag ef, oddiwrth y brenin; canys dymunodd gael peth cynnorthwy, mewn trefu i beri i'r rhai a fyddai gyndyn, i dalu yn y dinasoedd. A chan fenthycca gan gyfeillion y brenin yn Alexandria bum cant o dalentau; efe a brysurodd i Syria. Pan ydoedd yn Ascelon, ac yn gofyn y trethoedd gan y bobl, hwy a ommeddasant dalu dim, gan beri iddo ddigio wrthynt: ond efe a gymmerodd ynghylch ugain o'r gwŷr pennaf, ac a'u lladdodd hwynt: ac a gasglodd yr hyn oedd ganddynt ynghyd, ac a'i danfonodd oll i'r brenin, gan hyspysu iddo 'r hyn, a wnaethai. Ptolemy a ryfeddodd wrth gall-ymddygiad y dyn ieuangc, ac a'i cymmeradwyodd; ac a roddodd gennad iddo i wneuthur fel yr ewyllysiai. Pan glybu 'r Assyriaid hyn, fe aeth yn syndod iddynt: ac â chanddynt o'u blaenau siampl erchyll yng nghospedigaeth gwŷr Ascelon y rhai a laddesid; hwy a agorasant eu pyrth, gan ollwng Joseph yn ewyllysgar i mewn, a thalu eu trethoedd. A phan ddarfu i drigolion Sychopolis gynnyg ei wrthsefyll ef; gan ballu a thalu'r trethoedd a arferent gynt eu talu, heb ymddadleu yn eu cylch; efe a laddodd hefyd wŷr pennaf y ddinas honno, gan ddanfon eu heiddo i'r brenin. Trwy 'r moddion hyn efe a gasglodd lawer o gyfoeth ynghyd; ac a ynnillodd elw mawr oddiwrth y marchnadyddiaeth hyn o'r trethi; ac efe a ddefnyddiodd yr etifeddiaeth a feddiannodd y ffordd hon tu ag at gynnal ei awdurdod; gan ei dybied yn radd o gallineb i gadw'r hyn a fu'n achos ac yn sail ei lwyddiant presennol: a hyn a wnaeth trwy gymmorth yr hyn a feddiannodd eisoes. Canys efe yn ddirgel a ddanfonodd amryw anrhegion i'r brenin, ac i'r frenhines Cleopatra, a'u cyfeillion, a phawb o rai enwog o amgylch y llŷs; a thrwy hynny a bwrcasodd eu hewyllys da iddo ei hun.

Y ffrwyth o'i lwyddiant a feddiannodd tros ddwy flynedd ar hugain; ac a ddaeth yn dad i saith o feibion oddiwrth un wraig: ac yr oedd ganddo un mab arall, enw yr hwn oedd Hyrcanus, o ferch ei frawd Solimus, yr hon a briododd ar yr achlysur canlynol.* Digwyddodd iddo unwaith ddyfod gyd â'i frawd i Alexandria, yr hwn oedd ganddo gyd âg ef ferch eisoes mewn oedran priodi, mewn bwriad i'w rho'i yn briod-

* Bl. 187.

asol i rai o'r Iuddewon o radd uchel yno. Yna efe a swpperodd gyd â'r brenin: a chan syrthio mewn cariad â chwareu-ferch, o lendid mawr, a dyfod o hono i'r stafell lle'r oeddynt yn gwledda, efe a grybwyllodd am hyn wrth ei frawd; gan ddeisyf arno (oblegid fod gwaharddiad i Iuddew wrth eu cytraith i nesâu at un o genedl ddieithr) i gadw ei droseddiad yn ddirgel; ac i fod yn hynaws a gwasanaethgar iddo, a chaniattau cyfleustra i gyflawni ei ddymuniadau. Ar hyn ei frawd yn ewyllysgar a gydunodd â'r deisyfiad o'i wasanaethu ef: ac efe a addurnodd ei ferch ei hun, ac a'i dygodd atto liw nos, gan ei dodi yn ei wely ef. Ac â Joseph wedi yfed i ormodedd ni wybu pwy ydoedd; ac felly efe a orweddodd gyd â merch ei frawd, ac a wnaeth hynny amryw weithiau, gan serchi yn fawr ynddi: ac a ddywedodd wrth ei frawd ei fod yn caru y chwareÿddes honno mor fawr, ac y rhedai i berygl am ei fywyd, pe gorfyddai iddo ymadael â hi: ac etto ysgatfydd na chaniattäi y brenin iddo ei chymmeryd gyd ag ef. Ond ei frawd a barodd na ofalai ddim am y matter hwnnw; ac a ddywedodd, y gallai gadw yr un yr oedd yn ei hoffi yn ddi-berygl, a'i chael yn wraig iddo: ac efe a fynegodd y gwirionedd iddo; gan ei sicrhau, y dewisai yn hytrach i'w ferch ei hun gael cam-driniaeth, nac edrych heibio iddo ef, a'i weled yn dyfod i ammharch cyhoeddus. Felly Joseph a'i canmolodd am ei gariad brawdol, ac a brïododd ei ferch; o'r hon y cafodd fab, enw'r hwn oedd Hyrcanus, fel y dywedasom o'r blaen. A phan oedd yn dair mlwydd ar ddeg o oedran, dangosodd ei fab ieuangaf ynddo feddwl doeth a gwrol; ac fe a'i cynfigennwyd yn fawr gan ei frodyr, megis ei fod o ddyfais pell uwchlaw iddynt hwy, ac yn fath un ag y gallent yn hawdd gynfigennu wrtho: Joseph unwaith a ewyllysiodd wybod pa un o'i feibion oedd â thueddiad mwyaf at rinwedd: ac wedi eu hanfon yn amrywiol at y rhai oedd â'r gair goreu iddynt am hyfforddi ieuengctyd; eraill o'i blant, o herwydd eu diogi a'u hanewyllysgarwch i gymmeryd llafur, a ddychwelasant atto yn ffol ac yn annysgedig. Ar eu hol hwynt efe a ddanfonodd allan yr ieuangaf, Hyrcanus; ac a roddodd iddo dri chan iau o ychain, gan beri iddo fyned daith deuddydd i'r anialwch, a hau'r tir yno; ac etto cadwodd yn ol yn ddirgel yr ieuau ag oedd i'w cwpplysu hwynt ynghyd. Wedi dyfod Hyrcanus i'r fan, a gweled nad oedd ieuau gyd ag ef, efe a feiodd ar yrrwyr yr ychain; y rhai a'i cynghorasant i anfon at ei dad am yr ieuau: ond gan ystyried na ddylai golli amser, tra'r anfonid am ddwyn yr ieuau; efe a luniodd yn ei feddwl y fath ddyfais, a'r hyn oedd yn gweddu i oedran hynach nag ef. Canys efe a laddodd ddeg iau o'r ychain, ac a ddosparthodd eu cig ym mysg y llafurwyr; gan dorri eu crwyn yn amrywiol ddarnau, a gwneud ieuau o honynt, a chwpplysu yr ychain ynghyd â hwynt. Trwy ba foddion efe a hauodd gymmaint o dir ag a appwyntiodd ei dad iddo i hau, ac a ddychwelodd atto ef. Ac wedi ei ddyfod yn ol, boddhawyd ei dad yn fawr â'i gallineb ef; gan ganmol cyflymdra ei ddealltwriaeth a'i hyfdra yn yr hyn a wnaethai. Ac efe a'i hoffodd drachefn yn fwy, megis pe buasai ei unig fab, tra'r oedd ei frodyr yn blino yn fawr o'i herwydd.

Ond pan ddywedodd un i Joseph fod gan Ptolemy fab newydd ei eni; a bod holl bennaethiaid Syria, a'r gwledydd eraill i gadw gŵyl, ar gyfrif dydd genedigaeth y plentyn, ac yn myned ymaith gyd â brys a rhwysg mawr i Alexandria; lluddiwyd ef i fyned yno gan ei oedran; ond efe a wnaeth brofiad o'i feibion, a oedd un o honynt hwy yn ewyllysgar i fyned at y brenin. A phan oedd y meibion hynaf yn esgusodi eu hunain rhag myned; gan ddywedyd, nad oeddynt hwy yn ddigon ymadroddus i'r fath gwmp'ni; ac a'i cyngorasant i ddanfon eu brawd Hyrcanus. Gwrandawodd yn llawen ar y cyngor hwnnw, ac a alwodd Hyrcanus, gan ofyn iddo a ai efe at y brenin? Ac ar ei addewid o fyned, a ddywedodd na fyddai arno eisiau llawer i'w daith, o herwydd y byddai fyw yn gymmedrol; ac mai deng mil o drachmæ a fyddai ddigonol; boddhawyd ef yn fawr wrth glywed rhesymmoldeb ei fab. Ym mhen ychydig amser, y mab a gynghorodd ei dad i beidio danfon ei anrhegion i'r brenin oddiyno; ond i roddi

llythyr iddo at ei oruchwyliwr yn Alexandria, fel y byddai iddo ef ei ddiwallu ag arian tu ag at bwrcasu yr hyn a fyddai odiaethol a gwerthfawr. Felly efe, gan feddwl y byddai y draul o ddeg talent yn ddigon tu ag at wneuthur anrheg i'r brenin; a chan ganmol ei fab am ei gyngor da iddo, efe a 'sgrifennodd at Arion, ei oruchwyliwr, ag oedd yn ymdrin â'i fatterion ariangar yn Alexandria: pa ryw arian nid oeddynt lai na thair mil o dalentau ar ei gyfrif ef. Canys Joseph a ddanfonai'r arian a dderbyniai yn Syria i Alexandria. A phan ddeuai'r dydd appwyntiedig i dalu'r trethoedd i'r brenin; efe a ysgrifennai at Arion i'w talu hwynt. Felly wedi i'r mab ofyn llythyr gan ei dad at y goruchwyliwr, a'i dderbyn ganddo, efe a frysiodd i Alexandria. Ac wedi iddo fyned ymaith, ei frodyr a ysgrifenasant at holl gyfeillion y brenin am ei ddifetha ef.

Ond wedi iddo ddyfod i Alexandria, fe draddododd ei lythyr i Arion: yr hwn a ofynnodd iddo Pa sawl talent a fynnai? gan obeithio na ofynnai fwy na deg, neu ychydig yn rhagor: Dywedodd fod arno eisiau mil o dalentau: wrth yr hyn yr oedd y goruchwyliwr yn ddigllon, ac a'i ceryddodd ef, megis un yn bwriadu byw yn afradlon: ac efe a adawodd iddo wybod y modd yr oedd ei dad wedi casglu ei olud yngbyd trwy lafur, a ffrwyno ei chwantau; gan ewyllysio iddo ef ddilyn siampl ei dad: sicrhaodd iddo yn y cwbl na dderbyniai ganddo ef ond deg talent; a hyn yn anrheg i'r brenin hefyd. Y mab a gythruddwyd wrth hyn, ac a fwriodd Arion i garchar. Ond wedi i wraig Arion hyspysu hyn i Cleopatra; gyd â'i deisyfiad ar iddi geryddu y plentyn am yr hyn a wnaethai, (canys yr oedd Arion mewn parch mawr ganddi) Cleopatra a hyspysodd y peth i'r brenin. A Ptolemy a anfonodd am Hyrcanus, ac a ddywedodd wrtho ei fod yn rhyfeddu, mai pan yr anfonwyd atto ef gan ei dad, na ddaethai o'i flaen ef, ond a roddasai y goruchwyliwr yngharchar: ac efe a roddes orchymmyn gan hynny am ddyfod o hono atto ef, i roddi cyfrif o'r rheswm am yr hyn a wnaethai. A hwy a ddywedant mai 'r attebiad a wnaeth i negeseuwr y brenin ydoedd hyn: "Fod cyfraith o'r eiddo ef, ag oedd yn gwahardd i blentyn, wedi ei eni, i archwaethu o'r aberth, cyn ei fod yn y deml, a'i aberthu i Dduw. Yn gyttunol â pha ffordd o ymresymu, ni ddaeth ei hun atto ef; tan ddisgwyl am yr anrheg ag ydoedd i'w wneuthur iddo, megis i un a fuasai yn haelionus i'w dad; a'i fod wedi cospi y caethwas am anufuddhau i'w orchymmyn:" "Canys," eb efe, "nid yw'n gwneuthur dim gwahaniaeth pa un a fyddo'r meistr ai bychan neu fawr; oddieithr cospi rhai fel hyn, gelli ddisgwyl dy hun gael dy ddirmygu gan dy ddeiliaid." Wrth glywed yr attebiad hwn, y brenin a ymollyngodd i chwerthin; ac a ryfeddodd wrth glywed mawr yspryd plentyn.

Wedi i Arion wybod mai hyn oedd meddwl y brenin, ac nad oedd modd iddo ei amddiffyn ef; rhoddodd i'r plentyn, sef y gwr ieuangc, y mil talentau, ac ar hynny, efe a ryddhawyd o'r carchar. Felly, ar ol i dri diwrnod fyned trosodd, Hyrcanus a ddaeth ac a gyfarchodd y brenin a'r frenhines. Derbyniasant ef yn siriol, ac a'i gwleddasant mewn modd caredig, o ran y parch oedd ganddynt i'w dad. Felly efe a aeth at y marchnadyddion yn ddirgel, gan brynu cant o fechgyn ag oedd yn ddysgedig, ac ym mlodau eu hoedran; pob un am dalent y pen: prynodd hefyd gant o forwynion, am y cyffelyb bris, bob un. Ac wedi ei wahodd i wledda gyd â'r brenin, yngbyd â phennaethiaid y wlad, efe a eisteddodd yn y lle isaf o'r cwbl, am nad oedd neb yn sylwi arno, ond yn ei olygu megis plentyn; a hynny gan y rhai a osodai bawb i eistedd yn ol eu graddau a'u hurddas. Yn awr, wedi i'r rhai oll a eisteddent gyd ag ef, osod yr esgyrn yn bentwr o flaen Hyrcanus, (canys hwy eu hunain a gymmerasent y cig oddiwrthynt,) nes ydoedd y bwrdd lle'r oedd efe yn eistedd wedi ei lenwi â hwynt; Trypho, cellweiriwr y brenin, yr hwn a gedwid yn bwrpasol i beri gwawd a chwerthiniad mewn gwleddoedd, a ofynnwyd yn awr iddo gan y gwahoddedigion ag oedd yn eistedd wrth y bwrdd, i wneud gwawd o Hyrcanus. Felly Trypho a safodd yn ymyl y brenin, ac a ddywedodd, "Onid ydwyt yn gweled, fy arglwydd, y pentwr esgyrn sydd yn

gorwedd o flaen Hyrcanus. Trwy gyffelybiaeth o hyn y gelli ddychymmygu y modd y darfu i'w dad wneuthur holl Syria mor llwm ag y gwnaeth efe yr esgyrn hyn." Ac a'r brenin yn chwerthin wrth yr hyn a ddywedodd Trypho, a chan ofyn i Hyrcanus, Pa fodd y digwyddodd i gael cymmaint o esgyrn o'i flaen? Yntau a attebodd, "Yn dra chyfiawn, fy arglwydd: canys cŵn ydynt hwy ag a fwyttant y cig a'r esgyrn ynghyd, megis y gwnaeth dy wahoddedigion hyn, (ac efe yn edrych yr un pryd ar y gwahoddedigion hynny;) canys nid oes dim o'u blaen hwynt: ond dynion yw y rhai a fwyttant y cig, ac a daflant ymaith yr esgyrn; fel y darfu i mi, yr hwn hefyd wyf ddyn, ei wneuthur." Y brenin a ryfeddodd wrth yr attebiad hwn, pa un mor ddoeth a wnaeth efe, gan beri iddynt oll grechwenu, fel arwydd o'u boddlondeb i'w attebiad gyfrwysgall. Ar y dydd nesaf, Hyrcanus a aeth at bob un o gyfeillion y brenin, a'r gwŷr cymmeradwy yn y llys, i'w cyfarch hwynt; ond a ymholodd â'u gwasanaeth-ddynion pa anrhegion a wnai eu meistraid i'r brenin ar ddydd genedigaeth ei fab: a phan ddywedodd rhai y y rhoddent ddeuddeg talent; ac y rhoddai eraill o uwch graddau, bob un yn ol maintioli ei gyfoeth: yntau a gymmerodd arno dristau, am na's gallai roddi anrheg cymmaint; ac na feddai efe ond pum talent. A phan glybu 'r gweision yr hyn a ddywedai, adroddasant hynny i'w meistraid: hwythau a lawenychasant yn y disgwyliad o anghymmeradwyaeth Joseph, trwy dramgwyddo 'r brenin wrth fychandra ei anrheg iddo. Pan ddaeth y diwrnod, eraill, ïe y rhai a ddygasant fwyaf, ni offrymmasant ychwaneg nag ugain talent. Ond Hyrcanus a roddodd i bob un o'r can bechgyn, a'r can morwynion, un dalent y pen, i'w dwyn gyd â hwynt; ac a'u harweiniodd, sef y bechgyn, o flaen y brenin, a'r genethod ger bron Cleopatra: a phawb yn rhyfeddu wrth wychder yr anrhegion, hyd yn oed y brenin, a'r frenhines eu hunain. Efe hefyd a anrhegodd y rhai oedd o amgylch y brenin â nifer fawr o dalentau, fel y diangai rhag y perygl yr oedd ynddo oddiwrthynt; canys hwy ydoedd y rhai yr ysgrifenasai ei frodyr attynt am ei ddifetha ef.

Yn awr, Ptolemy oedd yn rhyfeddu wrth fawrfrydigrwydd y dyn ieuangc; ac a orchymmynodd iddo ofyn pa rodd a ddewisai. Ond ni ddymunodd ddim arall gan y brenin, ond ysgrifennnu o hono at ei dad a'i frodyr yn ei gylch ef. Felly wedi i'r brenin ddangos parchedigaeth mawr iddo, a gwneuthur llawer o anrhegion; gan ysgrifennu at ei dad a'i frodyr, ei flaenoriaid, a'i swyddogion yn ei gylch, efe a'i gollyngodd ymaith. Ond wedi dywedyd i'w frodyr fod Hyrcanus wedi derbyn y fath ffafr gan y brenin, a'i fod yn dychwelyd yn anrhydeddus adref; hwy a aethant allan i gyfarfod âg ef, a hynny trwy wybodaeth eu tad; canys yr oedd efe yn ddig wrtho o herwydd y swm fawr o arian a gyfranasai yn anrhegion; ac felly'r ydoedd yn ddiofal am ei ddiogelwch. Pa fodd bynnag, Joseph a gadwodd yn ddirgel y digter oedd ganddo tu ag at ei fab, rhag ofn y brenin. A phan ddaeth brodyr Hyrcanus i ymladd ag ef, efe a laddodd amryw eraill o'r rhai oedd gyd â hwynt, ac hefyd ddau o'i frodyr ei hun: ond eraill o honynt a ddiangasant i Jerusalem, at eu tad. Ond pan ddaeth Hyrcanus i'r ddinas, lle na dderbyniai neb ef, yr ydoedd mewn ofn am dano ei hun; ac efe a ymadawodd ymaith i fyned tu hwnt i afon yr Iorddonen, ac yno yr arhosodd, gan wneud i'r Barbariaid dalu eu trethoedd iddo ef.

Yn yr amser hwn Seleucus, yr hwn a elwid Soter, a deyrnasodd tros Asia, yr hwn oedd fab Antiochus Fawr. Ac yn awr fe fu farw Joseph tad Hyrcanus. Yr oedd efe yn ddyn da, ac o fawr wrolder; yr hwn a ddygodd yr Iuddewon o gyflwr tlawd ac isel, i amgylchiad o ddedwyddwch. Efe a feddiannodd farchnadyddiaeth y trethoedd yn Syria, Phœnicia, a Samaria, tros * ddwy flynedd ar hugain. Ei ewythr Onias a fu farw hefyd ynghylch yr un amser, gan adael yr archoffeiriadaeth i'w fab Simon. Ac wedi ei farw ef, Onias ei fab a'i dilynodd yn y swydd dderchafedig honno. Atto ef yr anfonwyd cennadwyr, gyd ag epistol

* Un mlynedd ar bymtheg ar hugain mewn un llaw 'sgrifen; yr hyn o bossibl yw'r iawn nifer. Gwel Prideaux tu a'r Fl. 226.

oddiwrth * Areus, brenin y Lacedæmoniaid; copi o ba un sydd megis ag y canlyn.

AREUS, BRENIN Y LACEDÆMONIAID, AT ONIAS, YN ANFON ANNERCH.

"Nyni a gyfarfuom â rhyw ysgrifen, wrth yr hon y gwybuom fod yr Iuddewon a'r Lacedæmoniaid o'r un gwreiddyn, ac yn tarddu o † hiliogaeth Abraham. Nid yw ond cyfiawn i chwi, gan hynny, anfon attom ni, y rhai ydym frodyr, ynghylch unrhyw beth neu achosion a weloch yn oreu: bydd i ni ei wneuthur, a chyfrif eich achosion fel yr eiddom ein hunain; a golygu ein hachos ni yn gyffredin gyd â'r eiddo chwithau. Demoteles, yr hwn sydd yn dwyn y llythyr hwn, a ddug eich attebiad yn ol i ni. Y llythyr yma sydd bedwarongl: a'r sel arno yw yr eryr, a'r ddraig yn ei grafangau."

Dyma ydoedd cynnwysiad yr epistol a ddanfonwyd oddiwrth frenin y Lacedæmoniaid. Ond ar farwolaeth Joseph y bobl a dyfodd yn ymrysongar, ar gyfrif ei feibion. Canys ar waith y meibion hynaf yn cyfodi rhyfel yn erbyn Hyrcanus, yr hwn oedd y mab ieuangaf i Joseph, y lliaws a rannwyd: ond y rhan fwyaf a gydunasant â'r henuriaid yn y rhyfel: megis y gwnaeth Simon yr archoffeiriad, ar y rheswm ei fod o berthynas ‡ iddynt. Pa fodd bynnag, Hyrcanus a benderfynodd na ddychwelai mwy i Jerusalem; ond a sefydlodd ei hun tu hwnt i'r Iorddonen; ac a ydoedd mewn rhyfel gwastadol â'r Arabiaid; gan ladd llawer o honynt, a chymmeryd eraill yn gaethion. Efe hefyd a adeiladodd gastell cadarn, gan ei wneuthur yn gwbl o gerrig gwynion, hyd at y gronglwyd; ac a gerfiodd lun creaduriaid o anferth faintioli ar ei ochrau: ac hefyd a'i cwmpasodd â cheu-ffos ddofn o ddwfr. Efe hefyd a wnaeth ogofëydd o amryw 'stadau o hyd, trwy dyllu craig oedd ar ei gyfer, ac yna fe wnaeth 'stafelloedd helaeth ynddynt: rhai i wledda, eraill i gysgu ac i fyw o'u mewn. Efe a ddug hefyd fesur helaeth o ddwfr a redai o'i hŷd, a'r hyn ag oedd yn ei wneud yn dra hyfryd ac addurniadol yn y llŷs. Ond etto fe wnaeth y mynediad i mewn i'r ogofëydd mor guled, fel na allai ond un dyn fyned iddynt ar unwaith; a'r rheswm paham y gwnaeth hwynt yn ol y drefn honno ydoedd, i'w ddiogelu ei hun, rhag cynllwyn iddo gan ei frodyr; a rhag rhedeg yr antur o gael ei gymmeryd ganddynt hwy. Efe ymhellach a adeiladodd gynteddoedd o fwy ehangder nac arferol; y rhai a addurnodd â gerddi tra helaeth. Ac wedi dyfod a'r lle i'r drefn hon, efe a'i henwodd Tyre; pa ryw le sydd yn sefyll rhwng Arabia a Judea, y tu hwnt i'r Iorddonen; heb fod neppell o wlad Heshbon. Ac efe a lywodraethodd ar y parthau hyn saith mlynedd; sef yr holl amser hwnnw ag yr oedd Seleucus yn frenin ar Syria. Ond wedi ei farw ef, ei frawd Antiochus, a elwid Epiphanes, a gymmerodd arno lywodraeth y deyrnas. Ptolemy, brenin yr Aipht, hefyd a fu farw; yr hwn heblaw hynny a elwid Epiphanes. Efe a adawodd ddau fab, a phob un yn ieuangc mewn oedran; yr hynaf o ba rai oedd Philometor, a'r ieuangaf Phiscon. Am Hyrcanus, pan welodd fod Antiochus yn dyfod â byddin liosog; a chan ofni rhag ei ddal ganddo ef, a'i gospi am yr hyn a wnaethai i'r

* Cymmerwch yma hanes y Deon Prideaux am y llythyr hwn, wrth y Fl. 183, pa un debygaf sy'n dangos gwirionedd yr achos hwn: "Y mae," eb efe, "yn dra thebygol i Josephus gamsyniad yr Onias, at ba un y cyfarwyddwyd y llythyr hwn, gan gyfrif hynny i Onias III. a wnaethid yn unig yn amser Onias I. Canys tra'r oedd Onias, y cyntaf o'r enw hwnnw, mab Jadus, archoffeiriad yr Iuddewon, yr ydoedd un Areus yn frenin Lacedæmon; (yr hyn ni ymddengys mewn un modd ei fod yn amser Onias y trydydd:) Ac oddiwrtho ef, y mae'n fwyaf tebygol, yr ysgrifenasid y llythyr hwn. Yn ganlynol, Jonathan yn ei lythyr at y Lacedæmoniaid, (1 Mac. xii. 10. a Hynaf. XIII. 5.) ym mha le y mae yn crybwyll am y llythyr hwn o eiddo Areus, a ddywed, Fod amser maith wedi myned heibio yn ol ei ddanfon attynt hwy. Yr hyn ni allai fod wedi ei ddywedyd gan Jonathan ymherthynas i'r amser ym mha un yr oedd Onias III. yn archoffeiriad; o blegid o amser yr Onias hwnnw, hyd pan wnaethpwyd Jonathan yn dywysog yr Iuddewon, nid aethai heibio ychwaneg na deuddeng mlynedd."

† O ba le y daeth fod y Lacedæmoniaid hyn yn tystio eu hunain yn garennydd i'r Iuddewon, megis yn tarddu oddiwrth yr un henafgwr, Abraham, ni allaf ddywedyd. Oddieithr fel y meddwl Grotius, eu bod yn deilliaw oddiwrth y Doriaid, a ddaethant o'r Pelasgi. Y rhai hyn a elwir gan Herodotus, mewn effaith, Barbariaid; ac o bossibl y gallent darddu o'r Syriaid a'r Arabiaid, hiliogaeth Abraham o Ceturah. Gwel Hynaf. XIV. 10. Am y Rhyf. I. 26. a Grot. ar y 1 Maccab. xii. 7. Gallwn sylwi ymhellach oddiwrth adgoffadwriaethau Clement, I. 25, fod Eliezer o Damascus, gwas Abraham, Gen. xv. 2. a'r xxiv. yn cael gynt ei gymmeryd am fab iddo. Felly os oedd y Lacedæmoniaid yn deilliaw oddiwrtho ef, gallent feddwl eu hunain o hiliogaeth Abraham yn gystal a'r Iuddewon, y rhai a dyfasant o Isaac. Ac ysgatfydd mai'r Eliezer yma o Ddamascus yw'r unig Ddamascus hwnnw ag y mae Trogus Pompeius, megis y talfyrrwyd gan Justin, yn ei wneud yn sylfaenwr y genedl Iuddewig ei hun. Er ei fod yn ymddyrysu, ac yn cyfrif Azelus, Adores, Abraham, ac Israel, yn frenhinoedd Judea, ac yn ddilynwyr y Damascus hwn: XXXVI. 2. Fe all na fyddai'n ammhriodol sylwi ymhellach, fod Moses Chorenensis, yn ei hanes o'r Armeniaid, yn hyspysu i ni, fod cenedl y Parthiaid yn darddedig oddiwrth Abraham o Ceturah, a'i phlant hi hefyd.

‡ Gwel Pen. IV.

Arabiaid, efe a derfynodd ei fywyd â'i ddwylaw ei hun; ac Antiochus a gymmerodd feddiant o'i holl eiddo.

## PENNOD V.

*Am yr ymryson a gyfododd ymherthynas i'r Archoffeiriadaeth; ymgyrch Antiochus yn erbyn Jerusalem; y creulonderau a arferwyd ar yr Iuddewon; ac ymddygiad y Samariaid.*

AR farwolaeth Onias yr archoffeiriad, hwy a osodasant yr archoffeiriadaeth i Jesus ei frawd; canys y mab hwnnw a adawsai Onias, (Onias IV.) nid ydoedd etto ond maban. Ac yn ei briodol le nyni a hyspyswn i'r darllennydd, am yr holl amgylchiadau a ddigwyddodd i'r plentyn hwn. Ond y Jesus hwn ag ydoedd yn frawd i Onias, a ddifuddiwyd o'r archoffeiriadaeth gan y brenin, (yr hwn ydoedd yn ddig wrtho) ac a'i rhoddodd i'w frawd ieuangaf, enw'r hwn hefyd ydoedd Onias. Canys yr oedd y tri mab yma i Simon, i bob un o ba rai y digwyddai'r archoffeiriadaeth, fel yr hyspyswyd * eisoes i'r darllennydd. Y Jesus hwn a newidiodd ei enw i Jason; ond Onias a elwid Menelaus. Yn awr, megis y darfu i'r archoffeiriad rhagflaenol, Jesus, gyfodi terfysg yn erbyn Menelaus, yr hwn a ordeiniasid ar ei ol ef, y lliaws a rannwyd rhyngddynt bob un. A mab Tobias a gymmerodd blaid Menelaus; ond y rhan fwyaf o'r bobl oedd yn ochri Jason; a thrwy'r moddion hynny Menelaus a meibion Tobias a golledwyd; a hwy a aethant at Antiochus, gan hyspysu iddo eu bod hwy yn ewyllysio ymadael â chyfreithiau eu gwlad, a'r defodau Iuddewig; a dilyn cyfreithiau'r brenin, a dull y Groegiaid o fywiolaethu. O herwydd hyn deisyfiasant ganiattâd ganddo i adeiladu iddynt Gymnasium yn Jerusalem. Yn ganlynol hwy a osodasant heibio yr holl ddefodau a berthynent i'w gwlad eu hunain, ac a ddilynasant arferion cenhedlaethau eraill.

Yn awr Antiochus, wedi dwyn achosion ei deyrnas i amgylchiad dymunol, a benderfynodd wneuthur ymgyrch yn erbyn yr Aipht; o herwydd fod dymuniad ganddo i'w hynnill, ac o herwydd ei ddiystyrwch o feibion Ptolemy, megis eu bod heb allu etto ymdrin ag achosion o'r fath ganlyniad a threfnu matterion llywodraeth. Felly efe a aeth â lluoedd nerthol i Pelusium; gan dwyllo Ptolemy Philometor, a goresgyn yr Aipht. Yna efe a aeth i'r mannau ynghylch Memphis: ac wedi eu cymmeryd hwynt, efe a brysurodd i Alexandria, mewn gobaith o'i chymmeryd trwy drais, a darostwng Ptolemy ag oedd yn teyrnasu yno. Ond efe a yrrwyd, nid yn unig o Alexandria, ond o'r holl Aipht, trwy orchymmyn y Rhufeiniaid, y rhai a archasant iddo adael yn llonydd y wlad honno. Mi roddaf yn awr gyfrif neillduol o'r hyn a berthyn i'r brenin hwn; y modd y darostyngodd Judea, ac y cymmerodd Jerusalem. Canys yn fy ngwaith blaenorol, crybwyllais yn unig yn fyrr am y pethau hyn; ac a feddyliais ei fod yn angenrhaid i mi fyned tros yr hanes hynny drachefn, gyd â mwy o fanylrwydd a chywreindeb.

Y brenin Antiochus, wrth † ddychwelyd o'r Aipht, rhag ‡ ofn y Rhufeiniaid, a wnaeth ymgyrch yn erbyn y ddinas Jerusalem: ac wedi ei

* Ni chawsom hyd yma ond ychydig o'r tystiolaethau ym mha rai y dywed Josephus ei fod o'r blaen wedi traethu ynghylch amrywiol bethau, o ba rai, er hynny, ni welir sillaf yn ei lyfrau presennol. Ni allodd ein hesponwyr hyd yma roddi un cyfrif dymunol o'r tystiolaethau hyn; y rhai ydynt ym mhell yn rhy liosog, a hynny yn gyffredin yn ei holl gopiau, Groeg a Lladin, i'w golygu fel gau-gymmysgiad; yr hyn yw ynghylch y cwbl a ddywedwyd ar yr achos yma. Y peth sydd gennyf fi i sylwi arno ymhellach yw hyn, nad oes gennym ni ond ychydig o'r cyfeiriadau hyn o'r blaen, a llawer yn, ac ar ol hanes Antiochus Epiphanes: a bod gwaith cyntaf Josephus, yr Hebraeg neu'r Caldeaeg, yn gystal a'r hanes Groegaidd o'r Rhyfel Iuddewig, (yn awr yngholl) yn dechreu gyd â'r Hanes hwnnw. Felly y cyfeiriadau ydynt, ysgatfydd, gan mwyaf yn perthynu i gyhoeddiad saith llyfr cyntaf y Rhyfeloedd. Gwelwch yr amrywiol siamplau eraill; fy meddwl yw heblaw y rhai yn y bennod o'n blaen: yn Hynaf. XIII. 2. a phen. 4, 5, 8, a'r 13. a llyfr XVIII. pen. 2. Am ei lyfrau Groeg diweddaf o'r rhyfel hwnnw, yn awr mewn bod, golygir hwynt yn fynych hefyd yn ol hyn; a'r casgliadau o honynt sydd i'w gweled yn bresennol. Gwel Hynaf. XIII. 3, a phen. 5, a'r 10. Gwelwch hefyd rai lleoedd eraill a rydd beth goleuni i'r matter hwn. Hynaf. XIV. 6. a phen. 7. a'r XX. pen. 7. Am y Rhyf. I. 3. IV. 8. V. 5.

† Ynghylch y lle yma y mae Josephus yn dechreu dilyn llyfr cyntaf y Maccabeaid; yr hwn sydd hanes dra odiaethol a chadarnhaol. Ac yn ganlynol y mae yma gyd â ffyddlondeb a chywirdeb mawr wedi ei dalfyrru ganddo. Rhwng presennol gopiau pa un fe ymddengys llai gwahaniaeth nac mewn un llyfr Hebraeg cyssegredig arall o'r Hen Destament: (canys y llyfr hwn hefyd a ysgrifennwyd ar y cyntaf yn Hebraeg;) yr hyn sydd dra naturiol: o herwydd ei ysgrifennu yn nês i amser Josephus na'r llyfrau eraill.

‡ Yr hyn y mae Josephus yn ei ddywedyd yma, ddarfod i Antiochus ddychwelyd allan o'r Aipht, ar ei ymgyrch cyntaf yno, rhag ofn y Rhufeiniaid; os yw yn cyfeirio at Popilius Lænas, a bygythiadau pendant cennadwr arall, camsyniad mawr ydyw; am na ddigwyddodd hyn hyd ben y ddwy flynedd wedi hynny, ar ei ail ymgyrch yno. A darfod i Antiochus yn awr ymosod ar Jerusalem, ni chrybwylla'r ail Maccabeaid am dano. Ond gan y dichon fod y geiriau o'n blaen yn

ddyfod yno, yn y drydedd a deugain a chan * mlynedd o deyrnas y Seleucidæ, efe a gymmerodd y ddinas heb ymladd i'w herbyn; a'r rhai o'i blaid ei hunan yn agor y pyrth iddo. Ac wedi cael meddiant o Jerusalem, efe a laddodd lawer o'r blaid wrthwynebol: ac wedi iddo ei hyspeilio o lawer o arian, efe a ddychwelodd i Antioch.

Yn awr, fe ddaeth o amgylch ym mhen dwy flynedd, yn y bummed flwyddyn a deugain wedi cant, ar y pummed ar hugain o'r mis hwnnw a elwir gennym ni Casleu, a chan y Macedoniaid Appelleus; yn y ganfed a'r drydedd ar ddeg Olympiad, ddarfod i'r brenin ddyfod drachefn i fynu i Jerusalem; a chan gymmeryd arno fod yn heddychlon, cafodd trwy † fradwriaeth feddiant o'r ddinas. Ar ba amser ni arbedodd gymmaint â'r rhai a'i gollyngasant i mewn iddi, ar gyfrif y cyfoeth oedd ynghadw yn y deml. Ond wrth ei arwain gan ei dueddiadau cybyddlyd, (canys fe welsai yno lawer o aur, a llawer o addurniadau a gyssegrasid o werth mawr;) ac mewn trefn i feddiannu'r cyfoeth, efe a ddychwelodd i dorri'r cyngrair oedd rhyngddo â'r trigolion. Felly efe a adawodd y deml yn noeth; gan gymmeryd ymaith y canwyllbren aur; allor aur yr arogl-darth; bwrdd y bara gosod; ac allor y poeth-offrwm: ac nid arbedodd hyd yn oed y llenni a wnaethid o liain main ac ysgarlad. Efe hefyd a'i harloesodd o'i dirgel drysorau, ac ni adawodd ddim oll yn weddill; ac wrth hyn fe barodd i'r Iuddewon wylofain a gofidio yn fawr: canys efe a waharddodd iddynt offrymmu'r aberthau beunyddiol a arferent eu hoffrymmu i Dduw yn ol y gyfraith. Ac wedi iddo anrheithio'r holl ddinas, rhai o'r trigolion a laddodd, a rhai a ddygodd ymaith yn gaethion, ynghyd â'u gwragedd a'u plant; fel ag yr oedd lliaws y caethion a gymmerodd yn fyw, yn cynnwys ynghylch deng mil o nifer. Efe hefyd a losgodd yr adeiladau teccaf hyd y llawr: ac wedi dadymchwel a dryllio'r muriau, efe a adeiladodd ‡ dŵr yng nghwrr isaf y ddinas; canys y lle ydoedd uchel ac yn gorchuddio'r deml. Ar ba gyfrif efe a'i hamddiffynnodd â muriau ac â thyrau; ac a osododd ynddynt wersyllfa o Facedoniaid. Pa fodd bynnag, yn y tŵr hwnnw fe drigodd rhai o'r lliaws annuwiol o Iuddewon; oddiwrth ba rai y dioddefodd y dinasyddion amryw flinderau a thrallodion. Ac wedi i'r brenin wneuthur eilun-allor uwchlaw'r allor a aberthid arni i Dduw, efe a laddodd ac a aberthodd foch arni; ac felly a offrymmodd aberth heb fod yn ol y gyfraith, na threfn addoliad yr Iuddewon yn y wlad honno. Efe hefyd a'u cymhellodd i adael yr addoliad a roddent i'w Duw eu hunain, ac i addoli y rhai a gymmerai efe am dduwiau; gan wneuthur iddynt adeiladu temlau, a chyfodi eilun-allorau ym mhob dinasoedd a phentrefi; ac aberthu llwdn hwch arnynt yn feunyddiol. Efe hefyd a orchymmynodd iddynt na enwaedent ar eu meibion; ac a fygythiodd gospi y rhai a gaed yn troseddu'r gorchymmyn hwn. Ac hefyd efe a appwyntiodd olygwyr, y rhai a'u cymhellent i wneud yr hyn a orchymmynai. Ac yn wir llawer o Iuddewon ydoedd y rhai a gydunasant ag archiadau'r brenin; un ai yn ewyllysgar, neu rhag ofn y gosp a fygythid. Ond y dynion goreu, a'r rhai hynny o ysprydoedd ardderchoccaf, ni wnaethant sulw o hono; ond a barhasant i wneuthur mwy parch o ddefodau eu gwlad, na gofalu ynghylch y gospedigaeth a fygythiodd efe i'r rhai anufudd. Ar y

cyfeirio, o bossibl, at ryw achos arall o ofn oddiwrth y Rhufeiniaid, am yr hyn nis gwyddom ddim oddiwrth un awdwr arall yn awr, nis gallwn gydag un sicrwydd ei ddatgan yn gan-dystiolaeth. Pa fodd bynnag, Spanheim sydd yn sylwi ar yr ail-ymgyrch hwn gan Antiochus, megis wedi ei grybwyll gan Polybius, yn Excerpts Valesius, t. d, 132, ac allan o Polybius, gan Diodorus Siculus, yn y chwanegiad at yr Excerpts hynny, t. d. 312. Gan bann, a chan Dr. Hudson, i'n cyfeirir at ei fwriad allan o'r Aipht gan y Rhufeiniaid, i Livy. XIV. 18, ac i Histori Justin XXXIV. y rhai sydd yn rhoddi i ni hanes neillduol am dano. Gwelwch y lleoedd a gyfarwyddwyd eisoes attynt. Pa fodd bynnag, nis gallaf gyttuno â'r deon Prideaux, yr hwn sy'n lliosogi y ddau ymgyrch yma i'r Aipht hyd yn bedwar, yn y blwyddau 171. 170, 169, 168 C. C.

* Gwel 1 Maccab. i. 20. Ond adnodau 21, 22, a gynnwys yr hyn a gyfrifa Josephus i ail ymgyrch Antiochus yn erbyn Jerusalem.

† 1 Maccab. i. 29, 30.

‡ Y tŵr hen'r lle cadarn hwn, am ba un y mae gennym grybwylliad mor fynych trwy'r hanes canlynol yn y Maccabeaid, ac yn Josephus, a ymddengys ei fod yn gastell wedi ei adeiladu ar fryn, yn îs na mynydd Seion, er yn ei odre, ac uwch na mynydd Moriah, eithr rhwng y ddau: pa ryw fryn a ddarfu i elynion yr Iuddewon yn awr ei feddiannu, gan adeiladu castellyn arno, a chaer o'i amgylch; nes, ryw amser hir yn ol hynny, i'r Iuddewon ei ail-ynnill, a'i ddymchwelyd, a gwneud y bryn ei hun yn gydwastad â'r llawr cyffredin; fel na allai eu gelynion mwyach ei adferyd, a thrwy hynny ei olygu yn fwy na'r deml; a pheri y fath niweid iddynt ag a ddioddefasant dros hir amser oddiwrtho. XIII. 6.

cyfrif hwn yr oeddynt bob dydd yn myned tan gystuddiau a dioddefiadau mawrion: canys hwy a fflangellwyd â gwïail, a'u cyrph a rwygid yn dippiau, ac a groeshoeliwyd yn fyw: llindagent hefyd y gwragedd, a'u meibion y rhai a gaent wedi eu henwaedu, fel yr appwyntiodd y brenin; a chrogid eu bechgyn gerfydd eu gyddfau pan roddid hwy ar groesau: ac os caed un llyfr cyssegredig o'r gyfraith, fe'i difethid; a'r sawl ag y byddent ganddynt a roddid yn druenus i farwolaeth.

Pan welodd y Samariaid yr Iuddewon tan y dioddefiadau hyn, ni chyffesasant mwyach eu bod o berthynas iddynt; na bod y deml ar fynydd Gerizzim yn lle o addoliad yr Hollalluog Dduw. Ond dywedasant yn awr mai trefedigion o'r Mediaid a'r Persiaid oeddynt. Ac yn sicr o honynt hwy y tarddasant. Felly hwy ddanfonasant epistol at Antiochus, â'r cynnwysiad canlynol ynddo:

"At y brenin Antiochus Epiphanes, y duw: coffadwriaeth oddiwrth y Sidoniaid, yn preswylio yn Shechem. Ein tadau, ar ymweliad mynych* o bläau, a chan ddilyn math o goelgrefydd hynafol, oeddym yn arfer defod o gadw y dydd hwnnw a elwir gan yr Iuddewon y †Sabboth. Ac wedi iddynt hwy adeiladu teml yn y mynydd a elwid Gerizzim; er heb enw iddi, hwy a offrymmasant ynddi eu priodol aberthau. Yn awr, ar driniaeth gyfiawn yr Iuddewon drygionus hyn, y rhai a drefnant dy achosion, gan feddwl ein bod ni o garennydd iddynt, ac yn dilyn yr un ymarferion a hwythau, sy'n ein gwneud yn ddarostyngedig i'r un cyhuddiadau, er ein bod ni o'r dechreuad yn Sidoniaid, fel y mae'n amlwg oddiwrth lyfr y coffadwriaethau cyffredin. Yr ydym gan hynny yn attolwg i ti, ein noddwr a'n hachubwr, roddi gorchymmyn i Apollonius, llywodraethwr y rhan yma o'r wlad; a Nicanor, goruchwyliwr dy achosion, i beidio a pheri aflonyddwch i ni, neu osod arnom ni yr hyn y mae'r Iuddewon yn cael eu cyhuddo o'i herwydd; gan mai estroniaid ydym i'w cenedl, ac i'w defodau. Ond bydded i'n teml ni, sydd yn bresennol heb enw iddi, gael ei chyfenwi yn deml Jupiter Hellenius. Pe byddai hyn unwaith wedi ei wneuthur, ni aflonyddid arnom mwyach; ond a fyddem yn fwy ymroddgar i ddilyn ein galwedigaethau gyd â llonyddwch; ac i ddwyn i mewn deyrnged helaethach i ti."

Wedi i'r Samariaid anfon eu deisyfiad y modd hwn, y brenin a ddanfonodd yn ol attynt yr attebiad canlynol, mewn epistol:

"Y brenin Antiochus, at Nicanor. Y Sidoniaid, y rhai ydynt yn byw yn Shechem, a ddanfonasant i mi y cofiaeth cynnwysedig: Wedi i ni gan hynny ymgynghori â'n cyfeillion yn ei gylch, y cennadwyr a anfonwyd ganddynt a arwyddasant i ni, nad oes berthynas mewn un modd rhyngddynt â'r cyhuddiadau a osodir yn erbyn yr Iuddewon, ond a ydynt yn dewis byw yn ol defodau y Groegiaid. Yn ganlynol yr y'm yn eu cyhoeddi yn rhydd oddiwrth y fath gyhuddiadau: ac yn ordeinio, yn gyfattebol i'w dymuniad, fod i'w teml gael ei galw yn ‡ deml Jupiter Hellenius." Efe hefyd a ddanfonodd yr un cyffelyb epistol at Apollonius, llywiawdwr y rhan hyny o'r wlad; yn y § chwechfed flwyddyn a deugain, a'r deunawfed dydd o'r mis Hecatombeon.

## PENNOD VI.

*Am weithredoedd clodfawr Mattathias, wyr Asmoneus; ei farwolaeth, a'i ddilyniad gan Judas Maccabeus.*

YN awr y pryd hyn yr ydoedd un Mattathias, ‖ag oedd yn presswylio ym Modin; mab Ioan, fab Simeon, fab Asmoneus; offeiriad o ddyddgylch Joarib, dinesydd o Jerusalem. Iddo ef yr oedd pum mab: Ioan, yr hwn a elwid Gadis;

* Gwel y nod ar Llyfr IX. pen. 14.

† Yr hudiad yma o Antiochus gan y Samariaid sydd nodedig; mai, er nad oeddynt Iuddewon, etto iddynt hwy, er amseroedd gynt, wneuthur sulw o'r dydd Sabboth: ac, megis y maent yn cymmeryd arnynt mewn lle arall, o'r flwyddyn Sabbothol hefyd. XI 8.

‡ Y titl hwn, Jupiter Hellenius, neu y Jupiter Groegaidd, a nodir yn argraph ar arian Syracuse; gan Aristophanes, a chan Pindar hefyd; fel y mae Spanheim yma yn hyspysu i ni.

§ Yn lle y chweched flwyddyn a deugain yn y copiau, dylem yn ddiammau ddarllen yma y cant a chwech mlynedd a deugain; h. y. o'r Seleucidæ; i ba un y mae'r ordeiniad hwn yn naturiol yn perthynu. Ond pa fodd y mae Hecatombeon, enw Attic neu Atheniaidd ar fis, yn dyfod i mewn i ordeiniad Syromacedoniaidd, nis gallwn wybod. Ni all neb ei gyfrif yn wreiddiol. Ac ni ddylem feddwl ei ysgrifennu felly gan Josephus; yr hwn nid yw yn arferyd gwrthuno ei gof-arwydd hynafiaethol â'r fath ansynwyroldeb. Ond nid ymddengys pa fodd y dylid ei ddiwygio.

‖ Gwel 1 Maccab. ii. 1---14.

Simon, yr hwn a elwid Matthes; Judas, a gyfenwid * Maccabeus; Eleazar, yr hwn a gyfenwid Auran; Jonathan, yr hwn a elwid Apphus. Yn awr, y Mattathias hwn a alarodd o flaen ei blant oblegid amgylchiad tost eu gwladwriaeth, y difrod a wnaethpwyd yn y ddinas, dinoethiad y deml, a'r blinderau yr oedd y lliaws tanynt: ac efe a ddywedodd wrthynt fod yn well iddynt farw tros gyfreithiau eu gwlad, na byw tan y fath waradwydd ag yr oeddynt ynddo.

Wedi i'r rhai appwyntiedig gan y brenin ddyfod i Modin, fel y cymmellent yr Iuddewon i wneud yr hyn a orchymmynent; ac erchi i'r rhai ydoedd yno i offrymmu aberthau yn ol ordeiniad y brenin; parasant i Mattathias, gwr enwog ym mysg ei gydwladwyr, ac yn berchen teulu lliosog a rhinweddol, i ddechreu'r aberthiad, o herwydd y dilynai ei gyd-ddinasyddion ei siampl ef; ac o herwydd y byddai i'r fath flaenoriaeth gael ei berchi gan y brenin. Ond Mattathias a attebodd yn hŷf na wnai mohono: ac os ufuddhai yr holl genhedlaethau eraill i orchymmynion Antiochus, un ai o ran ei ofn, neu i'w foddloni ef; etto ni fyddai iddo ef na'i feibion ymadael â chrefyddol addoliad ei wlad. Ond cyn gynted ag y diweddodd ei ymadrodd, daeth un o'r Iuddewon i mewn i'w canol, gan aberthu yn ol gorchymmyn Antiochus: wrth hyn yr oedd Mattathias yn dra digllon, ac a ruthrodd arno, gyd â'i feibion, y rhai oedd a chleddyfau ganddynt; ac a laddasant y dyn oedd yn aberthu, ac Appelles swyddog y brenin, yr hwn, gyd ag ychydig o filwyr, a'u cymhellent i aberthu. Efe hefyd a fwriodd i lawr yr eilunallor; ac a lefodd allan, "Os oes neb a sel ganddo tros gyfreithiau ei wlad, a thros addoliad Duw, dilyned fi." Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a aeth ar frys i'r diffeithwch, gyd â'i feibion; ac a adawoddd ei holl feddiannau yn y pentref. Llawer eraill a wnaethant yr un modd, ac a ffoisant gyd â'u gwragedd a'u plant i'r anialwch, ac a drigasant mewn ogofëydd. Ond pan glybu blaenoriaid byddinoedd y brenin hyn, hwy a gymmerasant yr holl beiriannau rhyfel oedd o fewn y tŵr yn Jerusalem, ac a erlidiasant yr Iuddewon i'r diffeithwch. Ac wedi iddynt eu gorddiwes, darfu iddynt yn y lle cyntaf ymdrechu i'w perswadio i edifarhau, a dewis yr hyn oedd fwyaf er eu mantais; a pheidio a'u dodi tan angenrheidrwydd o wneuthur â hwynt yn ol cyfreithiau rhyfel. Ond pan na chydsynient â'u perswadiad, eithr parhau mewn gwahanol feddyliau iddynt, hwy a ymladdasant i'w herbyn ar y dydd Sabboth; a hwy a'u llosgasant yn yr ogofëydd heb neb i'w gwrthwynebu; ac heb gymmaint a chau i fynu y mynediadau i mewn iddynt. A hwy a adawsant heibio amddiffyn eu hunain ar y dydd hwnnw, am nad oeddynt yn ewyllysio pallu'r anrhydedd oedd ddyledus arnynt i'r Sabboth, hyd yn oed yn y cyfyngderau hyn. Canys ein cyfraith a ofyn i ni orphwys ar y dydd hwnnw. Yr oeddynt ynghylch mil, gyd â'u gwragedd a'u plant, y rhai a fygwyd, ac a fuont feirw yn yr ogofëydd. Ond llawer o'r rhai a ddiangasai, a ymgyssylltasant eu hunain â Mattathias, gan ei appwyntio yn llywydd iddynt; yr hwn a'u haddysgodd i ymladd, ïe, ar y dydd Sabboth; gan ddywedyd wrthynt, mai oddieithr iddynt wneuthur hynny, y byddent elynion iddynt eu hunain, trwy olygu y gyfraith mor llym-dost, tra byddai eu gelynion o hyd yn eu blino y dydd hwnnw, y pryd na amddiffynent eu hunain; ac nad oedd dim yn lluddias, ond bod yn rhaid iddynt oll farw heb ymladd. Yr araith yma a'u perswadiodd hwynt; a'r rheol hon sydd yn aros yn ein mysg hyd yr amser presennol; sef, os bydd angenrheidrwydd, fod i ni ymladd ar y dyddiau Sabboth. Felly Mattathias a gasglodd fyddin liosog, ac a ddadymchwelodd yr eilunallorau, ac a laddasant y rhai oeddynt yn torri y cyfreithian; sef, y rhai oll a allai efe gael tan ei awdurdod. Canys llawer o honynt a was-

* Na ddarfu i'r enw neu'r titl hwn Maccabead, gael ei roddi yn gyntaf i Judas Maccabeus, na tharddu o hono oddiwrth lythyrennau dechreuol geirian Hebraeg, argraphedig ar ei faner, Mi Kamoka Be Elim, Jehovah? sef, Pwy sydd debyg i ti ym mysg y duwiau, O Jehofah? Exod xv. 11. fel y mae y Rabbiniaid diweddar yn ofer ddywedyd, gwel yn Saenonaeg Authentic Records, Rhan I. t. d. 205, 206. Yn unig gallwn sylwi, mai enw dechreuol y Maccabeaid hyn, a'u hiliogaeth, ydoedd Asmoneani; yr hwn a darddodd oddiwrth Asmoneus, hendaid Mattathias, fel yr hyspysir gan Josephus.

garwyd ym mysg cenhedlaethau o'u hamgylch, rhag ei ofn ef. Efe hefyd a orchymmynodd am y bechgyn na enwaedasid, yn awr i gael eu henwaedu; ac efe a yrrodd ymaith y rhai a appwyntiasid i luddias y cyfryw enwaediad.

Ond wedi llywodraethu o hono un flwyddyn, a syrthiodd mewn clefyd, efe a alwodd am ei feibion, gan eu gosod i sefyll o'i amgylch, efe a ddywedodd, "O fy meibion, yr wyf yn myned i ffordd yr holl ddaear; ac yr wyf yn gadael gyd â chwi fy mwriadau; ac yn attolygu na fyddoch esgeulus i'w cyflawni hwynt: ond i fod yn ystyriol o ewyllysgarwch yr hwn a'ch cenhedlodd, ac a'ch dygodd i fynu; a chadw o honoch ddefodau eich gwlad; ac adferyd eich ffurf hynafol o lywodraeth; pa un sydd mewn perygl o gael ei dadymchwelyd; ac na ddyger chwi ymaith gyd â'r rhai ag sydd, un ai o honynt eu hunain, neu o angenrheidrwydd yn ei bradychu: ond caffer chwi yn feibion teilwng o honof fi; â meddyliau gennych uwchlaw gorthrech ac angenrheidrwydd; gan drefnu felly eich eneidiau, fel y byddoch barod, pan fo achos am hynny, i farw tros eich cyfreithiau; megis yn deimladwy o hyn trwy gyfiawn ymresymiad: os gwel Duw ynoch dueddiad daionus ni esgeulusa mo'noch, ond eich rhinwedd a fydd o werth yn ei olwg, ac a adfera i chwi drachefn yr hyn a gollasoch; gan ddychwelyd i chwi y rhyddid y'mha un y cewch fyw yn llonydd, a mwynhau eich breintiau eich hunain. Eich cyrph ydynt farwol, ac yn ddarostyngedig i ddamweiniau; ond y maent yn ynnill math o anfarwoldeb trwy goffadwriaeth o'r gweithredoedd a wnaethant. Ac mi fynnwn eich bod yn y fath gariad â'r anfarwoldeb hwn, ac y byddech yn erlynwyr clod ac anrhydedd: ac wedi myned o honoch trwy 'r anhawsderau mwyaf, na rusoch ar gyfrif y fath bethau, i golli eich bywydau. Yr wyf yn eich cynghori yn enwedig i fod yn gyttûn â'ch gilydd; ac ym mha ryw beth odiaethol bynnag y rhagora y naill o honoch ar y llall, i ymostwng mor bell a hynny iddo ef; a thrwy'r cyfryw foddion y medwch o'r fantais a berthyn i rinwedd pob un. Bydded i chwi gan hynny berchi Simon megis eich tad; o herwydd mai dyn yw efe o gallineb rhagorol; a chymmerwch eich llywodraethu ganddo ef ym mha gynghorion bynnag a roddo i chwi. Cymmerwch Maccabeus yn flaenor eich byddin, o herwydd ei nerth a'i wrolder: canys efe a ddïal eich cenedl, ac a ddug ddialedd ar eich gelynion. Cedwch yn eich plith y rhai cyfiawn a chrefyddol, a chadarnhewch eu hawdurdod."

Wedi i Mattathias lefaru y modd hwn wrth ei feibion, a gweddio ar Dduw i fod yn gynnorthwywr iddynt, ac adferyd i'r bobl eu blaenorol sefydliad, bu farw ychydig yn ol hynny, ac a gladdwyd yn Modin; a'r holl bobl a wnaethant alarnad mawr am dano ef. Ei fab Judas yn ol hynny a gymmerodd arno weini yn y llywodraeth gyhoeddus, yn y chweched flwyddyn a thrugain a chant. Ac fel hyn trwy gynnorthwy parod ei frodyr, ac eraill, Judas a yrrodd eu gelynion allan o'u gwlad; gan roddi i farwolaeth y rhai o'u gwladwyr eu hunain a droseddasant y cyfreithiau; a phuro 'r tir o'r halogedigaethau oedd ynddo.

## PENNOD VII.

*Am lwyddiant arfau rhyfel yr Iuddewon tan Judas Maccabeus; a phuredigaeth y Deml.*

WEDI i Apollonius, blaenor lluoedd y Samariaid glywed hyn; efe a gymmerodd ei fyddin, gan brysuro i fyned yn erbyn Judas. Ond wedi ymgyssylltu yn y frwydr, efe a orchfygwyd ac a laddwyd gan Judas, yr hwn a gymmerodd feddiant o'i gleddyf, ac a'i cadwodd iddo ei hun fel arwydd o fuddugoliaeth. Y nifer o fyddin Apollonius a laddwyd yn awr ydoedd fawr iawn hefyd; a'r rhai a glwyfwyd ydoedd etto yn lliosoccach; a'r buddugoliaethwyr a gymmerasant lawer o ysglyfaeth. Ond Seron, yr hwn oedd bennaeth byddin Cœlesyria, a glybu fod llawer wedi ymgyssylltu eu hunain â Judas; a bod ganddo o'i amgylch fyddin ddigonol i fyned i ryfel, efe a benderfynodd wneuthur ymgyrch yn ei erbyn; gan feddwl fod yn ddyled arno ef ymdrechu i wneud cospedigaeth ar y sawl a droseddai orchymmynion y brenin. Efe, gan hynny, a gasglodd ynghyd fyddin mor liosog ag a fedrai; gan ychwanegu

atti y ffoaduriaid annuwiol o Iuddewon; ac a ddaeth cyn belled a Bethoron, maes-dref yn Judea, ac yno y gwersyllodd. Judas a'i cyfarfyddodd, ac a benderfynodd fyned i frwydr ag ef: ond fel ag yr oedd ei filwyr yn ddigalon i ymladd, am nad oedd eu nifer ond bychan, a bod diffyg ymborth arnynt, canys yr oeddynt yn ymprydio: yntau a'u cefnogodd hwynt, ac a goffaodd iddynt, nad oedd buddugoliaeth a goresgyniad gelynion yn deilliaw oddiwrth amlder lluoedd, ond yn yr ymarferiad o grefydd tu ag at Dduw; a bod ganddynt siamplau amlyccaf o hyn yn eu cyndeidiau; y rhai, trwy eu cyfiawnderau, a'u hymdrech o blaid eu cyfreithiau, a thros eu teuluoedd, yn fynych a orchfygasant amryw filoedd. Trwy yr ymadroddion hyn, efe a ddenodd ei wŷr i ddirmygu lliaws y gelynion, ac i syrthio ar Seron. Ac ar ei ymgyssylltiad mewn brwydr â hwynt, efe a orchfygodd y Syriaid: ac wedi cwympo eu cydflaenor gyd ag eraill, hwy oll a ffoisant ymaith yn gyflym, gan feddwl mai dyna oedd y ffordd oreu o ddiangfa. Felly efe a'u herlidiodd hyd y gwastadedd, ac a laddodd ynghylch wyth gant o'r gelynion: ond y lleill a ddiangasant i'r ardal gyfagos i'r môr.

Pan glybu y brenin Antiochus am y pethau hyn, yr ydoedd yn dra digllon oblegid y pethau a ddigwyddodd. Felly efe a gasglodd ynghyd ei holl fyddin ei hun, gyd â llawer o rai a gyflogai efe o'r ynysoedd, i'w cymmeryd gyd ag ef; ac a ymbarottodd i dorri i mewn i Judea, ynghylch dechreu'r gwanwyn. Ond wrth grynhoi ynghyd ei filwyr, efe a ganfu ei drysorau yn ddiffygiol, a'i fod yn fyrr o arian; canys ni thalesid yr holl drethi, o herwydd yr ymrysonau a fuasai ym mysg y cenhedloedd, ac yntau wedi dilyn y fath rwysg a haelder yr amser aethai heibio, fel yr oedd yr hyn a weddillid ganddo yn annigonol iddo'n bresennol. Efe, gan hynny, a ymroddodd i fyned i Persia yn gyntaf, i godi trethi y wlad honno. Ar hynny efe a adawodd un Lysias, yr hwn oedd o fawr barch ganddo, yn llywodraethwr y deyrnas, cyn belled a therfynau'r Aipht, a'r Asia isaf, o gyrraedd yr afon Euphrates: gan ddodi tano ef ran o'i fyddinoedd, a'i elephantiaid: gan erchi iddo ddwyn i fynu ei fab Antiochus gyd â'r gofal mwyaf, nes ei ddychwelyd; a bod iddo orchfygu Judea, a chymmeryd ei phreswylwyr yn gaethweision; a llwyr ddinystrio Jerusalem, a diddymmu'r holl genedl. Ac wedi i'r brenin Antiochus orchymmyn y pethau hyn i gadwraeth Lysias, efe a aeth rhagddo i Persia; ac yn y seithfed flwyddyn a deugain a chant, y bu iddo fyned tros Euphrates, a threiddio i mewn i'r uwch daleithiau.

Ar hyn Lysias a ddewisodd Ptolemy, mab Dorymenes, Nicanor, a Gorgias, gwŷr tra nerthol ym mysg cyfeillion y brenin; gan roddi tan eu gofal hwynt ddeugain mil o wŷr traed, a saith mil o wŷr meirch, a'u hanfon yn erbyn Judea. Yn ganlynol, hwy a ddaethant mor bell a'r ddinas Emmaus, ac a wersyllasant yn y gwastattir. Daeth hefyd attynt gynnorthwywyr o Syria, a'r wlad o amgylch; ac hefyd lawer o'r ffoaduriaid Iuddewig. Ac heblaw hyn daeth yno lawer o fasnachwyr, i brynu y rhai a ddygid ymaith yn gaethweision; (a chanddynt gadwynau gyd â hwynt i rwymo y rhai a gymmerid yn garcharorion;) gyd ag arian ac aur i dalu am eu gwerth hwynt. A phan welodd Judas eu gwersyll, ac mor lliosog ydoedd eu gelynion, efe a berswadiodd ei filwyr ei hun i ymgryfhau ac ymwroli, a gosod eu gobaith am fuddugoliaeth ar Dduw: gan wneuthur eu hymbiliau atto ef, yn ol defod eu gwlad, wedi ymwisgo mewn sachliain; a dangos yr hyn ydoedd eu cynnefin addoliad yn y peryglon mwyaf; ac wrth hynny ynnill Duw i fod o'u plaid, a chaniattau iddynt fuddugoliaeth ar eu gelynion. Felly efe a'u gosododd yn y drefn hynafiaethol o ymladd, a arferid gan eu hynafiaid, tan eu cadbeniaid o filoedd, a swyddogion eraill; gan adael i'r sawl a briodasid yn ddiweddar fyned ymaith, yn gystal a'r rhai oedd newydd gael etifeddiaethau; fel nad ymladdent mewn modd llwfr ac ofnog, oddiar chwant anghymmedrol i fywyd, i'r diben i fwynhau y bendithion hyn. Wedi iddo drefnu ei wŷr yn y modd hwn, efe a'u hannogodd i ymladd trwy 'r araith ganlynol; "O fy nghydfilwyr, ni bu amser rheittiach na'r un presennol wrth yspryd gwrol, a dirmyg o berygl-

on; canys os ymleddwch yn gefnog, gallwch adferyd eich rhyddid; yr hwn beth gan ei fod ynddo ei hun yn ddymunol gan bob dynion; felly y mae'n profi yn fwy dymunol i ni, trwy ganiattau rhyddid i addoli Duw. Yr ydych yn y fath amgylchiad yn bresennol, a bod rhaid i chwi un ai adferyd y rhyddid hwnnw, ac felly ail-ennill ffordd ddedwydd o fucheddu yn ol ein cyfreithiau, ac arferiadau ein gwlad; neu ymostwng i'r dioddefiadau mwyaf gwarthus; ac ni erys ddim hâd o'ch cenedl, os gorchfygir chwi yn y frwydr hon. Ymladdwch gan hynny yn wrol, a bwriwch eich bod i farw pe na byddech i ymladd. Ond credwch, mai heblaw y fath wobrwyon gogoneddus a'r rhai hynny o ryddid eich gwlad, eich cyfreithiau, a'ch crefydd, y meddiennwch ogoniant tragywyddol yn ol-llaw. Ymbarottowch eich hunain gan hynny, a gosodwch eich hunain yn y fath agwedd, ag y byddoch barod i ymladd â'r gelynion mor gynted ag y dyddhao y boreu y foru." A dyma oedd yr araith a wnaeth Judas i'w cefnogi hwynt. Ond wedi i'r gelyn anfon Gorgias, â phum mil o wŷr traed, a mil o wŷr meirch, fel y goddiweddai Judas liw nos; ac â chanddo, i'r diben hwnnw, rai o'r ffoaduriaid Iuddewig i'w cyfarwyddo; meibion Mattathias a'u canfuant, ac a ymroisant i syrthio ar y gelynion hynny yn eu gwersyllfa, tra yr oedd eu byddin ar wasgar. Wedi swppera o honynt gan hynny mewn amser da, a gadael o'u hôl amryw dânau yn eu gwersyll, efe a symmudodd ar hyd nôs i gyfarfod y gelynion hynny oedd yn Emmaus. Felly, pan na chafodd Gorgias un gelyn yn eu gwersyll hwy, ond yn dychymmygu mai cilio a wnaethent, a myned i ymguddio eu hunain ym mysg y mynyddoedd; efe a amcanodd fyned i chwilio am danynt, pa le bynnag y c'ai hwynt. Ond ynghylch torriad y dydd, Judas a ymddangosodd i'r gelynion hynny oedd yn Emmaus, gyd â thair mil o wŷr; a'r rhai hynny ag arfogaeth wael ganddynt oblegid eu tlodi. A phan ganfu y gelyn wedi gwneud amddiffynfa ddeheuol iddo ei hun yn y gwersyll, efe a annogodd yr Iuddewon, ac a ddywedodd wrthynt, y dylent ymladd pe byddai ond yn unig â'u cyrph noethion, oblegid i Dduw ar brydiau yn yr amser gynt, roddi nerth i'r fath ddynion, yn erbyn rhai amlach o nifer, ac hefyd yn arfogion, oddiar olwg o'u gwrolder. Felly efe a orchymmynodd i'r udganwyr i swnio i'r frwydr. Ac wrth iddynt y modd hwn ddyfod ar warthaf y gelynion pryd nad oeddynt yn disgwyl, a thrwy hynny ddychrynu a therfysgu eu meddyliau, efe a laddodd lawer o'r rhai a'i gwrthwynebasant; ac a aeth ym mlaen i erlid y lleill cyn belled a Gadara, a gwastadedd Idumea, Ashdod, a Jamnia. Ac o'r rhai hyn y syrthiodd ynghylch tair mil. Etto Judas a gynghorodd ei filwyr i beidio a bod yn rhy awyddus i'r yspail: o blegid y gorfyddai iddynt etto fyned i frwydr â Gorgias, a'r lluoedd oedd tano ef: ond wedi y darfyddai iddynt unwaith eu gorchfygu hwynt, yna y gallent yn ddiogel yspeilio'r gwersyll: o herwydd mai y rhai hyn oedd yr unig elynion a adawyd, ac nid oeddynt yn disgwyl eraill.

Ac yn gymmwys fel yr oedd yn llefaru wrth ei filwyr, hwy a edrychent i wared am y fyddin honno a adawsent yn y gwersyll, ac a ddeallasant ei bod wedi ei dadymchwelyd, a'r gwersyll wedi ei losgi: canys y mŵg a dderchafai oddi wrthi a arwyddodd iddynt, ïe, pan oeddynt mewn pellder oddi yno, yr hyn a ddigwyddasai. Gan hynny, wedi i'r rhai oedd gyd â Gorgias weled fod pethau yn yr amgylchiad hwn, a chanfod y rhai oedd gyd â Judas yn barod i ymladd â hwynt, hwy a ddychrynasant ac a ffoisant ymaith. Ond yna Judas megis pe buasai eisoes wedi curo milwyr Gorgias heb ymladd, a ddychwelodd, ac a feddiannodd yr yspail. Efe a gymmerodd fesur helaeth o aur, ac arian, a phorphor, a glâs; ac yna a ddychwelodd adref gyd â llawenydd, a chanu hymnau o fawl i Dduw a roesai'r fath lwyddiant iddynt. Canys y fuddugoliaeth hon a dueddodd yn fawr tu ag at adferiad o'u rhyddid.

Lysias a derfysgwyd o herwydd gorchfygu y fyddin a ddanfonasai; a'r flwyddyn nesaf efe a grynhôdd ynghyd ynghylch trugain mil o wŷr. Efe hefyd a gymmerodd bum mil o wŷr meirch, ac a syrthiodd ar Judea: ac efe aeth i fynu i'r

rhannau mynyddig o'r wlad, yn Bethshur, pentref yn Judea, ac a wersyllodd yno; lle y cyfarfu Judas ag ef, â deng mil o wŷr. A phan welodd rifedi mawr ei elynion, efe a weddiodd ar Dduw am iddo ei gynnorthwyo ef; ac efe a unodd frwydr â'r rhai cyntaf o'r gelynion a ymddangosasant, ac a laddodd ynghylch pum mil o honynt; ac a ddaeth trwy hynny yn ddychryn i'r lleill. Lysias hefyd wrth sylwi ar yspryd mawrfrydig yr Iuddewon, y modd yr oeddynt yn barod i farw yn hytrach na cholli eu rhyddid, a chan arswydo eu ffordd chwimwth o ymladd, fel pe buasai o wir rymmusder, efe a gymmerodd weddill y fyddin yn ol gyd ag ef, ac a ddychwelodd i Antioch: lle y cymmerodd rai o wledydd dieithr i'w wasanaeth, ac a ymbarottodd i syrthio ar Judea â byddin liosoccach.

Gan hynny, wedi i flaenoriaid llnoedd Antiochus gael eu gorchfygu gynnifer o weithiau, Judas a gynnullodd y bobl, ac a ddywedodd wrthynt, mai ar ol cynnifer o fuddugoliaethau a roddasai Duw iddynt, fod yn ddyledus arnynt fyned i fynu i Jerusalem, a phuro'r deml, ac offrymmu'r aberthau appwyntiedig. Ond cyn gynted ag y daeth efe a'r holl liaws i Jerusalem, a gweled y deml yn anghyfannedd, a'i phyrth wedi eu llosgi, a phlannigion yn tyfu o fewn i'r deml o honynt eu hunain, oblegid yr ymadawiad o honi; efe a'r rhai oedd gyd ag ef a ddechreuasant wylo, ac a dristawyd yn fawr ar yr olwg hon o'r deml. Felly efe a ddetholodd rai o'i filwyr, ac a orchymmynodd iddynt ymladd yn erbyn y gwarchawdlu hynny ag oedd yn y tŵr neu'r castell, hyd oni byddai iddo buro'r deml. Wedi iddo wneuthur hynny trwy ofal, a dwyn i mewn lestri newyddion, y canhwyllbren, bwrdd y bara gosod, ac allor yr arogl-darth, y rhai a wnaethid o aur, efe a osododd i fynu y llenni wrth y pyrth, gan ddodi drysau arnynt. Efe hefyd a dynnodd i lawr allor y poeth offrwm, ac a adeiladodd un newydd o gerrig a gasglasai ynghyd, nid y cyfryw a holltir ag offeryn haiarn. Felly ar y pummed ar hugain o'r mis Casleu, yr hwn a eilw'r Macedoniaid Apelleus, hwy a oleuasant y lampau oedd ar y canhwyllbren; ac a offrymmasant arogldarth ar yr allor honno; ac a osodasant y torthau ar fwrdd y bara gosod; gan offrymmu aberthau tanllyd ar allor y poeth offrwm. Yn awr, fe ddigwyddodd i'r pethau hyn gael eu cyflawni ar yr un dydd ag y syrthiasai eu dwyfol addoliad ymaith; ac y gwnaethpwyd arferiad cyffredin o'r deml tros dair blynedd o amser. Canys fel hyn y bu i'r deml gael ei hanghyfanneddu gan Antiochus, ac felly y parhaodd tros dair o flynyddoedd. Canys yr anghyfannedd-dra hwn a ddigwyddodd i'r deml, yn y bummed a deugain a chan mlynedd, ar y pummed dydd ar hugain o'r mis Apelleus; ac ar y flwyddyn gyntaf o'r cant a thair ar ddeg a deugain Olympiad. Ond fe'i cyssegrwyd o newydd yr un dydd, sef y pummed ar hugain o'r mis Apelleus, ar yr wyth a deugain a chan mlynedd; ac ar y bedwaredd flwyddyn o'r pedwerydd ar ddeg a deugain a chant Olympiad. A'r anghyfannedd-dra hwn a ddigwyddodd yn ol prophwydoliaeth Daniel, yr hon a draddodasid ynghylch * pedwar cant ac wyth mlynedd o'r blaen. Canys efe a dystiodd y byddai i'r Macedoniaid ddiddymmu'r addoliad, † tros ryw fesur o amser.

Yn awr, Judas a gadwodd ŵyl ar adferiad yr aberthau yn y deml tros wyth niwrnod, heb ddiffyg dim mwyniant o'r hyn oedd ddymunol ynddi; ond efe a wleddodd y bobl â'r aberthau tra chostfawr a godidog oedd ynddi; ac efe a foliannodd Dduw, ac a'u diddanodd hwythau â chanu hymnau a psalmau. Ië, yr oeddynt yn llawenychu gymmaint ar adferiad eu defodau, pan, ar ol yspaid hir o attalfa, iddynt yn annisgwyliadwy ail ynnill iddynt eu hunain ryddid eu haddoliad; fel ag y gwnaethant hi yn gyfraith i'w hiliogaeth, ar fod iddynt gadw gŵyl ar gyfrif adferiad o addoliad eu teml, am wyth niwrnod. Ac o'r amser hwnnw hyd yn bresen-

* Gan hynny Daniel ynghopiau Josephus, a gafodd y weledigaeth yn ei viii. bennod, nid ar y 3dd o deyrnasiad Belshazzar, ond y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Darius y Mediad. Cyfl. Llyth. y Proph. Chwan. t. d. 106, 107, 108. Ac ni allwn hefyd ddal sulw, megis o'r blaen, ar y cyffelyb amgylchiad, yn y nôd ar XI. 5, gyd â pha gywreinrwydd anarferol y mae Josephus yn cyfrif dechreuad a diwedd y tair blynedd hyn o halogiad y deml gán Antiochus; ac fel y mae'n chwanegu at uniawn gyfrif blynyddoedd y Seleucidæ, yr hyn a gafodd o lyfr cyntaf y Maccabeaid, yr Olympiaid, tan ba rai yr oedd ei ddechreu a'i ddiwedd yn syrthio. A hyn a ymddengys ei wneud yn bwrpasol ganddo ef, ar gyfrif cyflawniad prophwydoliaeth Daniel trwy hynny, fel y sylwia ef yn y lle hwn.

† Dros 1096 o ddyddiau, neu dair blynedd.

nol, yr ydym yn cadw 'r ŵyl, ac yn ei galw Goleuni. Yr wyf yn tybied mai y rheswm o hono ydoedd, o herwydd i'r rhyddid hwn tu hwnt i'n disgwyliad, ymddangos i ni; ac oddi yma y rhoddwyd yr enw uchod i'r ŵyl hon. Judas hefyd a ail-gyfododd y caerau o amgylch y ddinas: gan adeiladu tyrau o fawr uchder yn erbyn ymgyrch gelynion; gan osod gwarchawd-luoedd ynddynt. Efe hefyd a amddiffynodd y ddinas Bethsura; fel y gwnaeth hi yn gastell, yn erbyn rhyw ruthrau a allai ddyfod oddiwrth ein gelynion.

## PENNOD VIII.

*Am barhaus lwyddiant y Maccabeaid.*

WEDI i'r pethau hyn fyned trosodd, y cenhedloedd o amgylch yr Iuddewon oeddynt yn dra anesmwyth oblegid adnewyddiad eu hawdurdod; y rhai a gydgyfodasant, ac a ddistrywiasant amryw o honynt;gan gael mantais arnynt, trwy osod maglau i'w herbyn, a gwneuthur cyngrair dirgel i'w difetha. Judas a wnaeth ymgyrch gwastadol yn erbyn y gwŷr hyn; gan ymdrechu i'w ffrwyno yn eu rhuthriadau; a rhagflaenu y niweid a wnaent i'r Iuddewon. Felly efe a syrthiodd ar yr Idumeaid, hiliogaeth Esau yn Acrabattene; gan ladd llawer o honynt, a chymmeryd eu hyspail. Efe hefyd a a gauodd i fynu feibion Bean, y rhai a wylient ar yr Iuddewon; ac efe a eisteddodd i lawr o'u hamgylch, ac a warchaeodd arnynt; gan losgi eu tyrau, a difetha y dynion oedd ynddynt. Yn ol hyn efe a aeth gyd â brys yn erbyn yr Ammoniaid, y rhai oedd ganddynt fyddin fawr a lliosog, ar y rhai yr oedd Timotheus yn llywydd. Ac wedi eu darostwng hwynt, efe a oresgynnodd y ddinas Jazer, gan gymmeryd eu gwragedd a'u plant yn gaethion, a llosgi eu dinas, ac yna efe a ddychwelodd i Judea. Ond pan ddeallodd y cenhedloedd cymmydogaethol ei fod wedi dychwelyd, hwy a ymgasglasant yn lliaws mawr ynghyd yn nhir Gilead; ac a ddaethant yn erbyn yr Iuddewon hynny oedd ar eu terfynau; y rhai ar hynny a ffoisant i amddiffynfa Dathema; gan ddanfon at Judas i'w hyspysu, fod Timotheus yn ymdrechu i gymmeryd y lle i ba un yr oeddynt wedi ffoi. A chyn gynted ag y darllennwyd yr epistolau hyn, daeth negeseuwyr eraill o Galilea yn hyspysu iddo fod trigolion Ptolemais, ynghyd â Tyre a Sidon, a dieithriaid o Galilea wedi ymgyssylltu â'u gilydd.

Yn ganlynol, Judas wrth ystyried pa beth oedd oreu i'w wneuthur ymherthynas i angenrheidrwydd pob un o'r achosion hyn; a roddes orchymmyn fod i'w frawd Simon gymmeryd tair mil o wŷr detholedig, i fyned i gynnorthwyo yr Iuddewon yn Galilea, tra byddai efe, ac un arall o'i frodyr, a elwid Jonathan, yn brysio i dir Gilead, gyd ag wyth mil o filwyr. Ac efe a adawodd Joseph, fab Zacharias, ac Azarias, i olygu tros weddill y lluoedd; gan erchi iddynt yn dra gofalus gadw Judea; a pheidio ymladd brwydr â neb rhyw un hyd oni ddychwelai ef. Yn ganlynol Simon a aeth i Galilea, ac a ymladdodd â'r gelyn, gan ei ddodi i ffoi, ac a'i herlidiodd hyd byrth Ptolemais; gan ladd ynghylch tair mil o honynt, a chymmeryd yspail y rhai a laddesid, a'r Iuddewon hynny a gymmerasent yn gaethion, ynghyd â'u dodrefn rhyfel; ac yna hwy a ddychwelasant adref.

Yn awr, am Judas Maccabeus, a'i frawd Joseph, hwy a aethant tros yr Iorddonen; ac wedi myned daith tri diwrnod, cyfarfuasant â'r Nabateaid, y rhai a ddaethant i'w gyfwrdd yn heddychol; gan fynegi iddo amgylchiad y rhai oedd yn nhir Gilead, pa gynnifer o honynt oedd mewn cyfyngder, wedi eu gyrru i amddiffynfeydd, a'r dinasoedd oedd yn Galilea; gan ei annog i wneuthur brys i fyned yn erbyn y dieithriaid, ac ymdrechu i achub ei gydwladwyr o'u dwylaw hwynt. Yn ganlynol, Judas a ddychwelodd i'r anialwch; ac yn y lle cyntaf a oddiweddodd breswylwyr Bosor; gan gymmeryd y ddinas, gorchfygu ei thrigolion, a difetha yr holl wrrywiaid, a'r rhai oedd alluog i ymladd, gan losgi eu dinas â thân. Ac nid arhosodd yn llonydd wedi dyfod y nos ym mlaen, ond a ymdeithiodd ynddi tu ag at y gwersylloedd lle yr oedd yr Iuddewon wedi eu caead i fynu, a Thimotheus yn amgylchynu'r fan â'i

fyddin. A Judas a ddaeth ar y ddinas yn y bore; a phan gafodd y gelyn yn gwneud rhuthr ar y muriau, a rhai o honynt yn dwyn ysgolion gyd â hwynt i ddringo'r muriau, ac eraill yn dwyn offerynnau i'w dryllio hwynt; efe a archodd i'r udganwr swnio ei udgorn, gan annog ei filwyr i fyned yn siriol i wynebu ar beryglon er mwyn eu brodyr a'u carennydd: efe hefyd a ddosparthodd ei fyddin yn dair rhan, ac a syrthiasant ar y gelynion o'r tu cefn. Ond wedi i wŷr Timotheus ganfod mai Maccabeus oedd yn llywydd arnynt, am wrolder a llwyddiant pa un mewn rhyfel yr oedd ganddynt eisoes brofiad digonol, hwy a ddodwyd i ffoi ymaith. Ond Judas a'u dilynodd â'i fyddin, ac a laddodd ynghylch wyth mil o honynt. Yna efe a drodd o'r neilldu i ddinas ddieithr, berthynol i'r gelynion, a elwid Malle, ac a'i cymmerodd, ac a laddodd y gwrrywiaid, ac a losgodd y ddinas ei hun. Wedi hynny symmudodd oddiyno, ac a ddadymchwelodd Casphom a Bosor; ac amryw ddinasoedd eraill yn nhir Gilead.

Ond cyn pen nemmawr o amser ar ol hyn, Timotheus a ddarparodd fyddin liosog, ac a gymmerodd amryw eraill yn gynnorthwywyr; gan ddenu rhai o'r Arabiaid trwy addaw gwobrwyon, i fyned gyd ag ef yn yr ymgyrch hwn: ac efe a aeth gyd â'i fyddin i'r tu hwnt i'r aber ddwfr, gogyfer a'r ddinas Raphon. Ac efe a gefnogodd ei filwyr, os elent i frwydr â'r Iuddewon, am ymladd yn gefnog; gan eu hattal rhag dyfod tros yr aber: canys dywedodd ym mlaen llaw wrthynt, "Os deuant trosti, hwy a'n curant ni." A phan glybu Judas fod Timotheus yn parottoi ei hun i ymladd; efe a gymmerodd ei holl fyddin ei hun ac a aeth gyd â brys yn erbyn y gelyn: ac wedi myned o hono tros yr aber, efe a gwympodd ar warthaf ei elynion; a rhai o honynt a laddwyd, ac eraill o honynt a ddychrynodd gymmaint, fel ag y gorfu arnynt daflu eu harfau i lawr a ffoi ymaith. Felly rhai o honynt a ddiangasant; ond eraill a ffoisant i fan a elwid teml Carnaim: gan obeithio wrth hynny achub eu hunain. Ond Judas a gymmerodd y ddinas, ac a'u lladdodd hwynt, gan losgi'r deml; ac felly fe gymmerodd amryw ffyrdd i ddifetha ei elynion.

Wedi darfod iddo wneuthur hyn, efe a gasglodd yr Iuddewon ynghyd, gyd â'u gwragedd a'u plant, a'u heiddo a berthynai iddynt; ac ydoedd yn myned i'w dwyn yn ol i Judea. Ond cyn gynted ag y daeth i ryw ddinas a elwid Ephron, ag oedd yn gorwedd yn y ffordd; (ac fel nad oedd yn bossibl iddo fyned ffordd arall, ni ewyllysiai fyned yn ol drachefn:) efe a ddanfonodd at y preswylwyr, i ddymuno arnynt agor eu pyrth, a chaniattau iddynt fyned ym mlaen yn eu ffordd trwy'r ddinas; canys hwy a attaliasant y pyrth â cherrig, i dorri ymaith ffordd trwy'r ddinas. A phan na chydsyniai preswylwyr Ephron â'r deisyfiad hwn, efe a gefnogodd y rhai oedd gyd ag ef, gan gwmpasu y ddinas o amgylch, a chynllwyn i'w herbyn; a chan wylio o'i hamgylch ddydd a nos, efe a gymmerodd y ddinas, gan ladd pob gwrryw oedd ynddi, a'i llosgi i lawr, ac felly a feddiannodd ffordd i fyned trwyddi. A lliaws y rhai a laddwyd ydoedd mor fawr, a gorfod tramwyo o honynt tros y cyrph meirwon. Felly hwy a ddaethant tros yr Iorddonen; ac a gyrraeddasant y gwastadedd mawr, ar gyfer pa un y mae sefyllfa y ddinas Bethshan, pa un a elwir gan y Groegiaid Scythopolis.* A chan fyned gyd â brys oddi yno, hwy a ddaethant i Judea: gan ganu salmau a hymnau ar eu taith; a mwynhau y fath arwyddion o lawenydd a hyfrydwch, ac a arferir mewn gorfoledd o herwydd buddugoliaeth. Hwy hefyd a offrymmasant aberth o ddiolchgarwch am eu llwyddiant, ac am ddiogelwch eu byddin: canys ni laddesid † un o'r Iuddewon yn y brwydrau hyn.

Ond Joseph, mab Zacharias, ac Azarias, y rhai a adawodd Judas yn flaenoriaid y milwyr,

* Y rheswm paham y darfu i Bethshan gael ei galw Scythopolis, a wybyddir yn dda o Herodotus I. t. d. 105, a Syncellus, t. d. 214, ddarfod i'r Scythiaid pan oresgynasant Asia yn nyddiau Josiah, gymmeryd y ddinas hon, a'i chadw cyhyd ag y parhausant yn Asia. O ba ryw amser y cadwodd yr enw Scythopolis, neu ddinas y Scythiaid. Gelwir hi felly gan awdwr ail lyfr y Maccabeaid, oddiwrth Jason o Cyrene, xii. 29. yn gystal a chan Josephus, ac ym mhell o'i flaen ef; tra ettona allai Josephus yn iawn ei gymmeryd o un o honynt; ysgrifeniadau pa rai, neu unrhyw awdwyr cyssegredig eraill yn Groeg, fe ymddengys na chafodd eu gweled. Gwel Draethawd ar yr Hen Dest. t. d. 184--195. a Chwan. 45, 46.

† Gwarediad rhagluniaethol yr holl Iuddewon crefyddol yn yr ymgyrch hwn, yr hyn oedd yn ol ewyllys Duw, a sylwir arno yn fynych ym mysg pobl Dduw, yr Iuddewon; a pheth tra thebygol iddo ynghyfnewidiad y pedair brenhiniaethau, yr hyn ydoedd hefyd yn dra rhagluniaethol. Gwel Prideaux ar y blyn. 334, 333, 331.

yr amser yr ydoedd Simon yn Galilea, yn ymladd yn erbyn Ptolemais; a phan oedd Judas ei hun, a'i frawd Jonathan yn nhir Gilead, a feddianasant hefyd y clod o fod yn flaenoriaid gwrol mewn rhyfel; ac mewn trefn i hynny hwy a gymmerasant y fyddin oedd tan eu gofal, ac a ddaethant i Jamnia. Yno Gorgias, blaenor byddinoedd Jamnia a'u cyfarfu hwynt: ac ar eu hymgyssylltiad mewn brwydr ag ef, collasant ddwy * fil o wŷr yn eu byddin, ac a ffoisant ymaith, ac a erlidiwyd hyd derfynau eithaf Judea. A'r anhap hwn a ddigwyddodd iddynt trwy eu hanufudd-dod i Judas, yr hwn a orchymmynasai na ymladdent â neb cyn ei ddychweliad ef. Canys heblaw cynghorion synhwyrol eraill Judas, gall un ryfeddu wrth hwn ymherthynas i'r anhap a ddigwyddodd i'r lluoedd tan arweiniad Joseph ac Azarias, yr hyn a ddeallodd efe y digwyddai, os torrent un o'r gorchymmynion a roddodd iddynt. Ond Judas a'i frodyr ni roddasant i fynu ymladd â'r Idumeaid, ond a wasgasant arnynt ar bob llaw, ac a gymmerodd oddiarnynt y ddinas Hebron, ac a ddistrywiasant ei holl amddiffynfeydd; gan osod ei thyrau ar dân, a llosgi ffrwyth gwlad y dieithriaid, a'r ddinas Marissa. Hwy a ddaethant hefyd i Ashdod, gan ei chymmeryd, a'i difrodi hi; ac a ddygasant ymaith lawer o'r yspail, a'r ysglyfaeth oedd ynddi; ac a ddychwelasant i Judea.

## PENNOD IX.

*Am farwolaeth Antiochus Epiphanes; ac ymddygiad Antiochus Eupator tu ag at Judas Maccabeus. Hefyd am Aleimus ac Onias.*

YNGHYLCH yr amser hwn y brenin Antiochus, fel ag yr oedd yn myned tros y gwledydd uchaf, a glybu am ddinas dra chyfoethog yn Persia, a elwid Elymais; ac ynddi deml dra ardderchog i Diana; a'i bod yn llawn o bob math o anrhegion wedi eu cyssegru iddi; megis o arfau hefyd, a dwyfronnegau; yr hyn, wedi gwneud ymofyniad, a gafodd eu bod wedi eu gadael yno gan Alexander, mab Philip, brenin Macedon. Ac wedi ei gymmell gan y cynnyrfiadau hyn, efe a aeth gyd â brys i Elymais, gan ei threisio a gwarchae arni hi. Ac fel yr oedd y rhai o'i mewn yn ddi-gryn wrth ei waith yn rhuthro neu yn gwarchae arnynt, hwy a'i gwrthwynebasant yn wrol, ac efe a gurwyd ymaith o'i obaith. Canys hwy a'i gyrrasant allan o'r ddinas, gan erlid ar ei ol ef, yn gymmaint ag y ffodd ymaith cyn belled a Babilon, wedi colli llawer o'i fyddin. Ac wedi ei ofidio gan y siommedigaeth hon, rhai gwŷr a fynegasant iddo y modd y gorchfygwyd ei flaenoriaid yn Judea, ac i ba gadernid yr oedd yr Iuddewon eisioes wedi dyfod. Wedi i dristwch oblegid y pethau hyn, a'i siommedigaeth o'r blaen, ei oddiweddyd, efe a derfysgwyd yn fawr; a chan y gofid yr ydoedd ynddo, efe a syrthiodd i glefyd, yr hwn, megis ag y parhaodd tros grŷn amser, ac fel yr oedd ei boen yn cynnyddu, efe a gydnabu o'r diwedd ei fod ym mhen ychydig i farw. Felly fe alwodd ei gyfeillion atto, ac a ddywedodd, fod ei glefyd yn drwm arno; gan gyfaddef yn y cwbl fod ei gystudd presennol wedi ei anfon arno am y blinderau a ddygasai ar y genedl Iuddewig; † pan yspeiliodd eu teml, ac y dirmygodd eu Duw. Ac wedi dywedyd hyn, efe a roddodd i fynu 'r yspryd. Oddi yma gall un ryfeddu wrth Polybius o Megalopolis; yr hwn, er mewn modd arall, ei fod yn ddyn da, etto a ddywed, "i Antiochus farw o herwydd ei fod yn amcanu yspeilio teml ‡ Diana yn Persia." Canys §

* Dyma arwydd amlwg arall o waith rhagluniaeth; mai yn yr un amser ag y gwaredwyd Simon, Judas, a Jonathan, ac y bendithiwyd hwynt ynghyfiawn amddiffyniad eu cyfreithiau a'u crefydd; y blaenoriaid eraill hyn o Iuddewon, y rhai a aethant i ymladd er mwyn hunan-glod ac anrhydedd, gwag ymffrost, heb un awdurdod ganddynt oddiwrth Dduw, neu'r teulu a gyfodasai efe yn waredwyr, a siommwyd yn druenus, ac a orchfygwyd. Gwel 1 Maccab. v. 61, 62.

† 1 Maccab. vi. 12.

‡ Dr Hudson sy'n sylwi yma, fod Jerom ar Dan. xi. yn dywedyd, "Polybius a Diodorus bob un a adroddant, y modd y cynnygiodd yr Antiochus hwn syrthio ar yspail teml Elymais, yr hon oedd lawn o gyfoeth. Hudson hefyd a noda, ddarfod i "Strabo gyfrif sefyllfa y deml hon yn Elymais," XVI. 744. Gwel Authent. Rec. Rhan I. t. d. 226, a Prid. ar y flwyddyn 164.

§ Wedi i St. Paul, Pharisead, gyfaddef, nad adnabuasai efe drachwant; neu ddymuniadau i fod yn bechadurus, pe na ddywedasai'r gorchymmyn, "Na thrachwanta," Rhuf. vii. 7. yr achos a ymddengys ei fod yn dra thebyg gyd â Josephus, yr hwn ydoedd o'r un blaid grefyddol, nad oedd ganddo ddwfn deimlad o faintioli unrhyw bechodau, nad oedd yn tarddu ymhellach na'r amcanion. Pa fodd bynnag, fel ag y mae Josephus yn bendant yn llefaru am gospedigaeth angau, pa un ni osodir gan Dduw na dyn ar amcan neu fwriad noeth yn unig, nid yw angenrheidiol estyn ei eiriau mor bell ag i feddwl nad oedd pechodau bwriadol, ac nid gweithredol, yn ddim pechodau oll.

amcanu rhyw beth, heb ei gyflawni yn weithredol, nid yw yn haeddu cospedigaeth. Ond os oedd Polybius yn casglu, ddarfod i Antiochus y modd hwn golli ei fywyd ar y cyfrif hwnnw, y mae 'n llawer mwy tebygol i'r brenin ddioddef hynny o herwydd ei gyssegr-yspeiliad o'r deml yn Jerusalem. Ond ni ddadleuwn ynghylch y matter hwn, â'r rhai a ddichon dybied fod yr achos a bennodir gan y Polybius hwn o Megalopolis yn nes i'r gwirionedd, na'r hyn a fernir gennym ni.

Pa fodd bynnag, Antiochus cyn iddo farw a alwodd am Phylip, yr hwn oedd un o'i gymdeithion, ac a'i gwnaeth ef yn warcheidwad ei deyrnas, ac a roddodd iddo ef ei goronbleth a'i wisg, a'i fodrwy; gan erchi arno eu traddodi i'w fab Antiochus; a * deisyfu arno ofalu am ei ddygiad i fynu, a chadwedigaeth y deyrnas iddo ef. Yr Antiochus hwn a fu farw yn y ganfed a'r nawfed flwyddyn a deugain. Ond Lysias ydoedd yr hwn a hyspysodd am ei farwolaeth i'r lliaws, ac a appwyntiodd ei fab Antiochus yn frenin, yr hwn y pryd hwnnw oedd ganddo tan ei ofal; gan ei alw ef Eupator.

Yr amser yma ydoedd ym mha un y gwnaeth y wersyllfa yn nhŵr Jerusalem, yn gynnwysedig o'r ffoaduriaid Iuddewig, lawer o niweid i'r Iuddewon. Canys y milwyr ag oedd yn y wersyllfa honno a ruthrasant allan yn ddisymmwth, gan ddifetha y rhai oedd yn myned i fynu i'r deml, mewn trefn i offrymmu eu haberthau: canys y lle hwn ydoedd agos at, ac yn uwch-olygu'r deml. Wedi i'r drygau hyn ddamweinio amryw weithiau, Judas a ymroddodd i ddinystrio y tŵr-wersyll hwnnw. Yn ganlynol, efe a alwodd yr holl bobl ynghyd, ac a ymosododd yn egnïol ar y rhai oedd yn y castell. Hyn a fu yn y ganfed a'r ddegfed flwyddyn a deugain o arglwyddiaeth y Seleucidæ. Felly efe a wnaeth beiriannau rhyfel, gan gyfodi gwrth-gloddiau; ac yn dra bywiog efe a wasgodd ym mlaen i gymmeryd y wersyllfa. Ond yr oedd nid ychydig o'r ffoaduriaid yn y lle, y rhai a aethant yn y nos allan i'r wlad, gan gasglu ynghyd rai dynion drygionus eraill, tebyg iddynt eu hunain; ac a aethant at Antiochus y brenin, gan ddymuno arno na adawai iddynt gael eu hesgeuluso tan y caledi mawr yr oeddynt ynddo, oddiwrth y rhai o'u cenedl eu hunain: a hynny ar gyfrif fod eu dioddefiadau yn achos ei dad, pan y gadawsant addoliad eu tadau, ac y dewisasant yr hyn a orchymmynodd efe iddynt ddilyn: bod yn beryglus rhag i'r tŵr, a'r rhai a appwyntiwyd i wersyllu ynddo gan y brenin, gael ei gymmeryd gan Judas, a'r rhai oedd gyd ag ef, oddigerth iddo anfon cynnorthwyon iddynt. Wedi mynegi hyn i Antiochus, ac efe etto yn † blentyn, yr ydoedd yn dra digllon; ac efe a ddanfonodd am ei gadbeniaid a'i gynghorwyr: ac a roddes orchymmyn ar fod iddynt gasglu byddin o gyflogyddion ynghyd; gyd â'r cyfryw ddynion o'i deyrnas ei hun ag oedd gymmwys i ryfel. Yn ganlynol, casglwyd byddin o gylch can mil o wŷr traed, ugain mil o wŷr meirch, a deuddeg ar hugain o elephantiaid.

Felly y brenin a gymmerodd ei fyddin, ac a gychwynnodd yn ebrwydd o Antioch, gyd â Lysias, yr hwn oedd olygwr ar y cwbl: a hwy a ddaethant i Idumea, ac oddiyno i fynu i Bethsura, dinas gadarn ac anhawdd ei chymmeryd. Safodd o amgylch y ddinas hon, ac a warchaodd arni. A thra'r oedd trigolion Bethsura yn ei wrthwynebu yn wrol, gan wneud rhuthriadau arno, a llosgi ei beiriannau rhyfel, fel y treuliwyd amser mawr yn y cynllwyn. Ond pan glybu Judas am ddyfodfa'r brenin, efe a dynnodd ymaith ei gynllwyn oddiwrth y castell yn Jerusalem, ac a aeth i gyfarfod y brenin, gan wersyllu wrth le a elwid Bethzacharia, yn y pellder o gylch trugain a deg o 'stadau oddiwrth y gelyn. Ond y brenin a symmudodd ei fyddinoedd gyd â brys o Bethsura, ac a'u harweiniodd i'r bylchoedd, neu'r cyfyngle yr oedd

* Nid yw ryfedd fod Josephus yma yn descrifio Antiochus Eupator megis yn ieuangc, ac mewn diffyg o ddysgeidiaeth, pan ddaeth i feddiant o'r goron: pan y mae Appian yn hyspysu i ni (fel y sylwia Dr. Hudson yma) Syriac. t. d. 177, nad oedd y pryd hynny ond naw mlwydd o oedran.

† Y mae Dr. Hudson yn sylwi yma, fod Jason o Cyrene, mewn talfyriad yn ail lyfr y Maccabeaid, pen. xiii. yn adrodd yr hanes yma yn dra gwahanol oddiwrth Josephus. Ond yna, gan nad ymddengys, fel y crybwyllais yn ddiweddar, i Josephus erioed weled y llyfrau hynny; a chan fod yr hanes llawer mwy awdurdodol hwnnw yn y 1 Maccab. vi. 28, &c. yn cyttuno ag ef, y mae gennym reswm i feddwl ei fod yn hynny yn camsyniad.

Judas yn gwersyllu ynddo. A chyn gynted ag y dyddhaodd, efe a drefnodd ei fyddin i'r ymladdfa, ac a wnaeth i'w elephantiaid y naill ddilyn y llall trwy'r lleoedd cyfyng, o herwydd na's gallent fyned ym mlaen wrth ochrau eu gilydd, gan gyfyngdra'r ffordd. Yn awr, o amgylch pob un o'r elephantiaid yr oedd mil o wŷr traed, a phum cant o wŷr meirch. Yr oedd hefyd gan yr elephantiaid dyrau uchel ar eu cefnau, a saethyddion ynddynt. Ac efe a wnaeth i'r rhan arall o'i fyddin ddringo i fynu i'r mynyddau, gan osod ei gyfnesaf o flaen y lleill, a gorchymmyn i'r fyddin roddi bloedd uchel, ac ar hynny gorddiwes y gelyn. Efe hefyd a wnaeth ddangosiad o'u tariannau aur a phres; fel ag yr oedd disgleirdeb godidog yn tarddu oddiwrthynt. A phan floeddiasant, y mynyddoedd a roisant adsain drachefn. Wedi canfod hyn gan Judas nid ydoedd yn arswydo, ond a dderbyniodd y gelyn gyd â chefnogrwydd, ac a laddodd ynghylch chwe chant o'r rhesau blaenorol. Ond digwyddodd i'w frawd Eleazar, yr hwn a alwent Auran, ddal sulw ar y mwyaf o'r elephantiaid ei fod wedi ei arfogi â dwyfronneg; a chan dybied fod y brenin ar ei gefn, efe a ruthrodd arno gyd â chyflymdra a chalondid mawr. Lladdodd hefyd amryw o'r rhai ag oedd o gwmpas yr elephant, ac a wasgarodd y lleill: ac yna efe a aeth tan dorr yr elephant, lle y brathodd ac y lladdodd ef. Felly yr elephant a syrthiodd ar gefn Eleazar, ac wrth ei bwysau a'i llethodd i farwolaeth. Ac fel hyn y daeth y gwr yma i'w ddiwedd; wedi iddo yn gyntaf gyd â gwrolder ddifetha llawer o'i elynion.

Ond Judas wedi gweled cadernid y gelyn, a giliodd yn ol i Jerusalem; ac a barottodd i ddioddef cynllwyn. Am Antiochus, efe a ddanfonodd un ddosparth o'i fyddin i Bethsura i warchae arni; a chyd â'r rhan arall o'i fyddin efe a ddaeth yn erbyn Jerusalem. Ond trigolion Bethsura a arswydasant wrth ei gadernid; a chan weled eu lluniaeth yn prinhau, rhoddasant eu hunain i fynu i sicrwydd llwon, fel na ddioddefent un driniaeth galed gan y brenin. Ac wedi i Antiochus fel hyn gymmeryd y ddinas, ni wnaeth amgen niweid iddynt hwy na'u danfon allan yn noethion. Efe hefyd a osododd wersyllfa iddo ei hun yn y ddinas. Ond am y deml yn Jerusalem, bu yn gwarchae arni tros hir amser, tra'r oedd y rhai oddi mewn yn ei hamddiffyn yn wrol. Canys pa beiriannau bynnag a osodai'r brenin i'w herbyn, hwythau drachefn a osodent beiriannau eraill gwrthwyneb iddo ef. Ond yna eu lluniaeth a fethodd. Yr hyn a osodasent heibio i'w diwallu o ffrwyth y ddaear a dreuliodd: a'r tir, heb ei aredig y flwyddyn honno, oedd yn aros yn ddi hâd, o herwydd mai'r seithfed flwyddyn ydoedd; ym mha un, wrth ein cyfraith ni, yr ydym yn rhwym i beidio a'i lafurio. A chyd â'r cwbl diangodd cynnifer o'r rhai gwarchaëdig ymaith o ddiffyg angenrheidiau, fel na adawyd ond ychydig yn y deml.

Dyma fel y digwyddodd fod amgylchiadau y cyfryw ag a warchaëwyd yn y deml. Ond yna, o herwydd darfod i Lysias, blaenor y fyddin, ac Antiochus y brenin, gael eu hyspysu, fod Phylip yn dyfod i'w goresgyn hwynt o Persia; a'i fod yn ymdrechu i ynnill trefniad achosion cyhoeddus iddo ei hun, hwy a ddaethant i'r penderfyniad hwn; sef, i adael y cynllwyn, a gwneuthur brys i fyned yn erbyn Phylip. Etto hwy a ymroddasant i beido gwneuthur hyn yn adnabyddus i'r milwyr neu'r swyddogion. Ond y brenin a archodd i Lysias lefaru yn gyhoeddus wrth y milwyr a'r swyddogion, heb ynganyd gair ynghylch Phylip; ac arwyddo iddynt y byddai'r cynllwyn yn dra maith, fod y lle o gadernid mawr; a hwythau eisoes mewn diffyg o angenrheidiau; bod llawer o achosion y deyrnas ag eisiau diwygiad; a bod yn llawer gwell gwneud cyngrair â'r gwarchäedigion, a bod yn unol â'u holl genedl, trwy ganiattau iddynt wneud arferiad o gyfreithiau eu tadau, o herwydd iddynt dorri allan i ryfela yn bresennol, am gynnyg eu difuddio o honynt; ac felly ymadael o honom ymaith i'n gwlad. Wedi i Lysias ymddiddan y modd hwn, yr holl fyddin a'r swyddogion a foddlonasant i'w gyngor.

Yn ganlynol, y brenin a ddanfonodd at Judas, ac at y rhai gwarchäedig gyd ag ef, gan addaw iddynt heddwch, a chaniattad i wneuthur

defnydd, a byw yn ol cyfreithiau eu tadau. A hwy yn llawen a dderbyniasant y cynnygiadau hyn. A phan gawsant sicrwydd trwy lwon, am eu cyflawniad, hwy a aethant allan o'r deml. Ond wedi i Antiochus ddyfod iddi, a gweled mor gadarn oedd y lle, efe a dorrodd ei lwon, ac a orchymmynodd i'w fyddin oedd yno i ddadymchwel y muriau hyd y llawr: * ac wedi gwneuthur hynny efe a ddychwelodd i Antioch. Efe hefyd a ddug gyd ag ef Onias yr archoffeiriad, yr hwn hefyd a elwid Menelaus. Canys Lysias a annogodd y brenin i ladd Menelaus, os mynnai i'r Iuddewon ymlonyddu, a pheidio a'i gythruddo ymhellach: o herwydd mai'r dyn hwn oedd dechreuad yr holl flinder a wnaethai yr Iuddewon iddynt, trwy berswadio ei dad i wneud i'r Iuddewon adael crefydd eu tadau. Felly y brenin a ddanfonodd Menelaus i Berea, dinas yn Syria; ac yno y parodd ei roddi i farwolaeth, wedi iddo fod yn archoffeiriad ddeng mlynedd. Yr ydoedd wedi ymddwyn yn ddrygionus ac yn annuwiol: ac mewn trefn i gael y llywodraeth iddo ei hun, efe a gymmellasai ei gyd-genedl i droseddu yn erbyn eu cyfreithiau eu hunain. Yn ol marwolaeth Menelaus,† Alcimus, yr hwn a elwid Jacimus, a wnaethpwyd yn archoffeiriad. Ond pan gafodd Antiochus fod Phylip wedi cymmeryd iddo ei hun eisoes feddiant o'r llywodraeth, efe a wnaeth ryfel i'w erbyn nes ei ddarostwng, ei gymmeryd, a'i ladd ef. Yn awr, am Onias, mab yr archoffeiriad, yr hwn, fel y crybwyllasom o'r blaen, a adawyd yn blentyn pan fu farw ei dad; pan welodd ddarfod i'r brenin ladd ei ewythr, Menelaus, a throsglwyddo yr archoffeiriadaeth i Alcimus, yr hwn nid oedd o lin yr archoffeiriaid, wedi ei hudo megis gan Lysias i drosglwyddo yr anrhydedd hwnnw oddiwrth ei dylwyth ef i feddiant teulu arall, efe a ffodd at Ptolemy, brenin yr Aipht. A phan welodd ei fod mewn parch mawr gyd ag ef, a chyd â'i wraig Cleopatra, efe a ddeisyfodd, ac a feddiannodd le yn Nomus Heliopolis, ym mha le yr adeiladodd deml, gyffelyb i'r un hynny yn Jerusalem; am ba un y rhoddwn hanes yn ol llaw.

## PENNOD X.

*Am aflwyddiant ymgyrch Bacchides, prif flaenor byddin Demetrius, yn erbyn Judea; gorchfygu Nicanor yn ganlynol; marwolaeth Alcimus, a'i ddilyniad gan Judas.*

YNGHYLCH yr un amser, Demetrius mab Seleucus, a ffodd ymaith o Rufain, ac a gymmerodd Tripoli, dinas yn Syria, gan osod y goron ar ei ben ei hun. Efe hefyd a gasglodd amryw filwyr cyflogaidd ynghyd; gan ddyfod i mewn i'w deyrnas, a chael derbyniad llawen gan bawb a roddasant eu hunain i fynu iddo. A phan gymmerasant Antiochus y brenin, a Lysias, dygasant hwy atto yn fyw; pob un o ba rai a roddwyd yn ebrwydd i farwolaeth trwy orchymmyn Demetrius, ‡ wedi i Antiochus deyrnasu dwy flynedd. Ond yr ydoedd yn awr lawer o'r drygionus ffoaduriaid Iuddewig, y rhai a ddaethant ynghyd atto ef; a chyd â hwynt Alcimus, yr archoffeiriad, yr hwn a gyhuddodd yr holl genedl, ac yn enwedig Judas a'i frodyr; gan ddywedyd ddarfod iddynt ladd ei holl gyfeillion: a bod y rhai sydd yn y deyrnas o'i blaid ef, ac yn disgwyl am ei ddychweliad, wedi eu rhoddi ganddynt hwy i farwolaeth: ddarfod i'r gwŷr hyn eu bwrw hwynt allan o'u gwlad eu hunain, gan beri iddynt fod yn ymdeithwyr mewn gwlad ddieithr. A hwy a ddymunasant arno ef ddanfon rhai o'i gyfeillion ei hun, i wybod ganddo ef pa ddrygau a barasai plaid Joseph yn y wlad.

Wrth hyn yr oedd Demetrius y dra digllon, ac a ddanfonodd Bacchides, cyfaill i§ Antiochus

* 1 Maccab. vi. 62.

† Os ydym i ddeall yma wrth Alcimus neu Jacimus wedi ei wneud yn archoffeiriad, gadarnhau iddo yr anrhydedd hwnnw, pa un a gleimiodd ac a ryfygodd ei feddiannu iddo ei hun o'r blaen: yn y lle yma, ac mewn lle cyfartal arall, 1 Maccab. vii. 5. o ba fan y cymmerodd Josephus ei hanes; hyn a gyttuna â'r amrywiol ddigwyddiadau presennol: osamgen ni wna felly.

‡ 1 Maccab. vii. 2. 3.

§ Nid yw mewn un wedd yn debygol y byddai i Josephus alw Bacchides, yr hwn oedd chwerw elyn yr Iuddewon fel y mae yn ein copipiau presennol o'i waith, yn "ddyn da;" neu "garedig ac esmwyth;" ym mha ystyr diweddaf y mae'n arferyd y geiriau yn fuan ar ol hynny. Y peth y mae awdwr llyfr cyntaf y Maccabeaid, pa un y mae Josephus yn ei ddilyn, yn lle'r ymadrodd hwnnw, yw hyn: ei fod yn wr cyfrifol yn y deyrnas, ac yn ffyddlon i'r brenin: yr hyn sydd dra thebygol fod Josephus yn ei feddwl hefyd. Ysgatfydd gan hynny iddo ysgrifennu, ffyddlon, am dda, neu fwynaidd.

Epiphanes, gwr da, ac un a ymddiriedasid iddo am holl Mesopotamia, gan osod byddin tan ei ofal, ac Alchimus yr archoffeiriad; a rhoddi gorchymmyn iddo am ladd Judas, a'r rhai oedd gyd ag ef. Felly Bacchides a wnaeth frys i fyned allan o Antioch, gyd â'i fyddin; ac wedi ei ddyfod i Judea, efe a anfonodd at Judas a'i frodyr am gael ymddiddan â hwynt ynghylch ammodau o heddwch a chyfeillgarwch: canys yr oedd bwriad ganddo i'w gymmeryd trwy ddichell. Ond ni roddodd Judas grediniaeth iddo: canys efe a welodd ei fod wedi dyfod â byddin mor liosog, yn gyffelyb i rai a fo am ryfela, ac nid am wneuthur heddwch. Pa fodd bynnag, rhai o'r bobl a fynnent bwyso ar yr hyn a barodd Bacchides ei gyhoeddi. A chan feddwl na orfyddai iddynt fyned tan lawer o flinder oddiwrth Alcimus, yr hwn ydoedd eu cydwladwr, anturiasant fyned trosodd attynt hwy; ac wedi iddynt dderbyn llwon ganddynt bob un; na fyddai iddynt hwy eu hunain, na 'r rhai oedd o'r un feddyliau â hwynt oddef dim niweid, hwy a ymddiriedasant eu hunain iddynt. Ond ni phoenodd Bacchides ei hun ynghylch y llwon a gymmerasai; ond efe a laddodd drugain o honynt, er iddo trwy beidio cadw ei air â'r rhai a aethant gyntaf trosodd atto ef, wrth hynny attal y lleill i gyd y rhai a fwriadasai fyned trosodd. Ond fel ag yr oedd wedi myned allan o Jerusalem, ac mewn pentref a elwid Bethsetho, efe a ddanfonodd allan ac a ddaliodd lawer o ffoaduriaid, a rhai o'r bobl hefyd, ac a'u lladdodd hwynt oll; ac a orchymmynodd i'r rhai oedd yn byw yn y wlad ymostwng i Alcimus. Felly efe a'u gadawodd yno, gyd â rhan o'r fyddin; fel y byddent yn gymmorth iddo i gadw 'r wlad mewn ufudd-dod; ac a ddychwelodd i i Antioch at y brenin Demetrius.

Ond yr oedd Alcimus yn ewyllysio cael yr arglwyddiaeth wedi ei sicrhau yn gadarnach iddo ef. A chan ddeall os gallai ddwyn o amgylch i gael y lliaws yn ffyddlon iddo, y llywodraethai gyd â mwy o awdurdod; oblegid hynny, efe a lefarodd eiriau têg wrthynt oll, gan ymddiddan â phob un o honynt mewn modd cymmeradwy ac ynnillgar. Trwy ba foddion y cafodd atto, ar fyrder, gorph mawr o ddynion, wedi eu trefnu yn fyddin o'i amgylch; er bod y rhan fwyaf o honynt o'r rhyw waethaf, ac yn ffoaduriaid. Gyd â'r rhai hyn, trwy eu harferyd fel ei wasanaeth-ddynion a'i filwyr, efe a aeth tros yr holl wlad, ac a laddodd y rhai oll a allai gyfarfod â hwynt, o blaid Judas. Ond wedi i Judas weled fod Alcimus eisoes wedi dyfod yn fawr, a darfod iddo ddifetha llawer o ddynion da a sanctaidd: efe hefyd a aeth dros y wlad, ac a ddifethodd y rhai oedd o'r blaid arall. Pan welodd Alcimus nad oedd yn alluog i wrthwynebu Judas, nac yn gydradd ag ef o nerth, efe a ymroddodd i ofyn cynnorthwy gan y brenin Demetrius. Felly efe a aeth i Antioch, ac a'i hannogodd i ddigofaint yn erbyn Judas, gan ei gyhuddo ef wrtho: a haeru iddo fyned tan lawer o flinderau o'i blegid ef: ac y gwnai ef fwy o ddrygau oni ragflaenid ef, a'i ddwyn i gospedigaeth; yr hyn sydd raid ei wneuthur trwy anfon byddinoedd cedyrn i'w erbyn.

Felly Demetrius, ac efe eisoes o'r tŷb y byddai yn niweidiol i'w achosion ei hun i edrych heibio i Judas, wedi ei ddyfod yn awr mor alluog; efe a ddanfonodd yn ei erbyn Nicanor, yr un ffyddlonaf o'i holl gyfeillion. Canys efe oedd yr hwn a ffoisai ymaith gyd ag ef o ddinas Rhufain. Efe hefyd a roddodd tan ei ofal gynnifer o filwyr ag a feddyliodd a fyddai'n ddigon i orchfygu Judas; gan beri iddo nad arbedai y y genedl oll. Pan ddaeth Nicanor i Jerusalem, ni ymroddodd i ymladd â Judas yn union-gyrch, ond a farnodd yn gallach ei gael tan ei awdurdod trwy fradwriaeth. Felly efe a ddanfonodd gennadwri heddychlon, gan ddywedyd, nad oedd un math o angenrheidrwydd iddynt i ymladd, a pheryglu eu hunain; ac y gwnai efe lw iddo na oddefent ddim niweid: am na ddaethai efe ond yn unig gyd â rhai cyfeillion, mewn trefn i beri iddo wybod am fwriadau Demetrius; a pha feddyliau oedd ganddo am eu cenedl. Wedi traddodi'r gennadwri hon gan Nicanor, Judas a'i frodyr a gydsyniodd ag ef; ac, heb feddwl am ddim twyll, rhoddasant iddo arwyddion o gyfeillgarwch, ac a wnaethant dderbyniad

o Nicanor a'i fyddin: ond tra yr ydoedd yn cyfarch Judas, ac yn cydymddiddan â'u gilydd, efe a roddodd arwydd i'w luoedd, trwy ba un yr oeddynt i gymmeryd Judas. Ond efe a gaufu y fradwriaeth, ac a redodd yn ol at ei filwyr, ac a ffodd ymaith gyd â hwynt. Felly ar y datguddiad hwn o'i amcan, ac o'r maglau a osodasid i Judas, Nicanor a benderfynodd wneuthur rhyfel cyhoedd ag ef, gan gasglu ei fyddin ynghyd, a pharottoi i ymladd: ac ar ei ymgyssylltiad mewn brwydr ag ef, yn rhyw bentref a elwid Caphar-salama, efe a * gurodd Judas, ac a wnaeth iddo ddiangc i amddiffynfa oedd yn Jerusalem.

Pan ddaeth Nicanor i wared o'r castell at y deml, rhai o'r offeiriaid a'r henuriaid a gyfarfuant ag ef, ac a'i cyfarchasant; ac a ddangosasant fod yr aberthau a arferent yn cael eu hoffrymmu i Dduw tros y brenin. Ar yr hyn y darfu iddo gablu, a bygythio oni thraddodai y bobl Judas iddo ef, y byddai iddo ar ei ddychweliad dynnu i lawr eu teml. † Ac wedi eu bygwth y modd hwn, efe a ymadawodd o Jerusalem. Ond yr offeiriaid a gwympasant mewn dagrau, gan ofidio wrth yr hyn a ddywedasai; ac a erfyniasant ar Dduw am eu gwaredu oddiwrth eu gelynion. Yn awr, Nicanor wedi myned allan o Jerusalem; ac fel yr oedd mewn rhyw bentref a elwid Bethoron, yno efe a wersyllodd, wedi i fyddin arall o Syria ymgyssylltu ag ef. A Judas hefyd a wersyllodd yn Adasa, pentref arall ag ydoedd ddeg ar hugain o stadau o Bethoron; ac â chanddo ddim yn 'chwaneg na mil ‡ o filwyr. Ac wedi iddo eu hannog i beidio digalonni wrth liosowgrwydd eu gelynion, na gofalu pa nifer ydoedd y rhai ag oeddynt yn myned i ymladd â hwynt; ond ystyried pwy oeddynt hwy eu hunain, ac o herwydd pa fawr wobr yr oeddynt yn anturio i'r frwydr; ac fel yr ymosodent yn gefnog ar y gelyn, yr ydoedd efe yn myned ei hun i ymladd o'u blaen hwynt: a chan ymgyssylltu â Nicanor mewn brwydr; ac wedi hir ymdrech efe a orchfygodd y gelyn, gan ladd llawer o honynt; ac o'r diwedd Nicanor ei hun a gwympodd, fel ag yr oedd yn ymladd yn wrol. Wedi'r cwymp hwn ni safodd y fyddin mwy; ond wedi colli eu blaenor hwy a ddodwyd i ffoi, gan daflu i lawr eu harfau. Judas hefyd a'u herlidiodd ac a'u lladdodd hwynt; gan roddi arwydd, wrth sain yr udgorn, i'r pentrefi cymmydogaethol ei fod wedi goresgyn y gelyn. Yr hyn pan glywodd y trigolion, dodasant ar frys eu harfogaeth am danynt, gan gyfarfod â'r gelynion yn eu hwynebau fel yr oeddynt yn ffoi ymaith, ac a'u lladdasant hwynt. Yn gymmaint ag na ddiangodd un o honynt allan o'r frwydr hon; a hwynt-hwy mewn rhifedi yn naw mil. Y fuddugoliaeth hon a ddigwyddodd ar y trydydd dydd ar ddeg o'r mis hwnnw a elwir gan yr Iuddewon Adar, a chan y Macedoniaid Dystrus. A'r Iuddewon a gadwant § ŵyl arno mewn cof am y fuddugoliaeth hon bob blwyddyn; ac a'i cyfrifant yn ŵyl o lawenydd. Y genedl Iuddewig tros gryn amser yn ol hynny a fuont rydd oddiwrth ryfeloedd, ac yn mwynhau heddwch. Ond hwy a ddychwelasant i'w cyflwr blaenorol o ryfeloedd a pheryglon.

Yn awr, fel yr oedd yr archoffeiriad Alcimus yn amcanu tynnu i lawr fûr y cyssegr, yr hwn a safasai er 's hir amser, ac a adeiladasid gan y prophwydi sanctaidd, ‖ efe a darawyd yn ddi-

*Rhaid fod copiau Josephus wedi eu llygru, pan y maent yma yn cyfrif y fuddugoliaeth i Nicanor, yn wrthwyneb i'r geiriau canlynol; ag sy'n arwyddo i'r hwn a gurwyd ddiangc i'r tŵr neu amddiffynfa, ag oedd yn perthynu i ddinas Dafydd, neu i fynydd Sion; ac a ydoedd yn meddiant gwersyllfa Nicanor, ac nid yr eiddo Judas: megis hefyd y mae yn llwyr wrthwyneb i eiriau awdwr cyntaf Josephus, 1 Maccab. vii. 37. pa un a ddywed i Nicanor golli ynghylch 5000 o wŷr, a ffoi o hono i ddinas Dafydd.

† 2 Maccab. xiv. 23.

‡ Tair Mil,----gwel 1 Maccab. vii. 46.

§ Cymmerwch nodau Dr. Hudson a Spanheim ar y lle hwn. "Yr ŵyl hon am fuddugoliaeth a gedwid yn flynyddol gan yr Iuddewon, mewn cof o orchfygu Nicanor gan Judas, 1 Maccab. vii. 49, ar y 13 dydd o Adar. Felly yr ydym yn darllen yn Megiloth Taanith. Y maent yn awr yn ymprydio ar y dydd hwnnw, mewn coffadwriaeth o ympryd Esther o flaen dyddiau y Pwrim. Gwel 2 Maccab. xv. 36.

‖ Yr hanes yma am farwolaeth druenus Alcimus neu Jacimus, yr archoffeiriad annuwiol, (y cyntaf a'r nad oedd o deulu yr archoffeiriaid, ac wedi ei ordeinio gan genedl-ddyn drygionus, Lysias;) cyn marw Judas; ac o'i ddilyniad gan Judas i'r archoffeiriadaeth, yma, ac yn niwedd y llyfr hwn, sydd yn union-gyrchol yn gwrthddywedyd 1 Maccab. ix. 54---57, yr hwn sy'n gosod ei farwolaeth ar ol Judas; ac heb grybwyll sillaf am archoffeiriadaeth Judas. Yr hanes yma sydd hefyd yn anghyttuno â darluniad cywrain Josephus ei hun o amseryddiaeth yr archoffeiriaid Iuddewig yn niwedd yr Hynafiaethau; pa fann, yn lle cyfrif dim blynyddau archoffeiriadol i Judas, y rhai ydynt dair blynedd yn niwedd y xii. bennod o'r llyfr hwn, nid yw yn arwyddo dim cyfrwng o lywodraethiad archoffeiriadol ar ol Alcimus neu Jacimus am saith mlynedd; gan ganiattau i Alcimus yr unig dair yn lle pedair blynedd o archoffeiriadaeth, megis yma. Y cyfeiliornad a ymddengys fel yn arwyddo fod y copi cyntaf o'r Maccabeaid, yr hwn a arferodd Josephus pan ysgrifennodd y 12fed llyfr hwn, â chanddo y nifer o bedair blynedd o barhad archoffeiriadaeth Alcimus; a bod dadgymmaliad yn ymddangos

symmwth gan Dduw. Y dyrnod hwn a wnaeth iddo syrthio yn fud ar y llawr; ac wedi bod tan boenau tros rai dyddiau, o'r diwedd efe a fu farw; wedi iddo fod yn archoffeiriad bedair blynedd. Ac wedi ei farwolaeth ef, y bobl a sefydlasant yr archoffeiriadaeth ar Judas.* Yr hwn wedi clywed am gadernid † y Rhufeiniaid, a'u bod wedi buddugoliaethu mewn rhyfel ar Galatia, Iberia, Carthage, a Lybia, ac mai heblaw y rhai hyn, eu bod wedi darostwng gwlad Groeg, a'r brenhinoedd Perseus a Phylip, ac Antiochus Fawr; efe a fwriadodd wneuthur cyngrair o heddwch a chyfeillgarwch â hwynt. A chan hynny efe a ddanfonodd i Rufain rai o'i gyfeillion; Eupolemus mab Ioan; a Jason mab Eleazar; a chyd â hwy fe ddeisyfodd gan y Rhufeiniaid, fod o honynt yn gynnorthwywyr, ac mewn cyfeillach â'r Iuddewon: ac ar iddynt ysgrifennu at Demetrius nad ymladdai yn erbyn yr Iuddewon. Felly y senedd a dderbyniasant y cennadwyr a ddaethai i Rufain oddiwrth Judas; ac a ymddiddanasant â hwy am y neges ynghylch pa un y daethent; ac yna a ganiattasant iddynt ammodau o gynnorthwyad. Hwy hefyd a roisant allan orchymmyn trwy awdurdod ymherthynas iddo; gan anfon transgrif o hono i Judea. Cafodd ei osod i fynu yn y capitol, neu deml Jupiter yn Rhufain, ac wedi ei argraphu ar bres: y gorchymmyn neu'r cyhoeddiad ei hun ydoedd hwn:—

"Gorchymmyn y senedd ymherthynas i gyngrair neu gyfammod o gynnorthwy a chyfeillgarwch â chenedl yr Iuddewon. Ni fydd gyfreithlon i neb rhyw rai ag sydd yn ddeiliaid o'r llywodraeth Rufeinaidd, i wneud rhyfel â'r genedl Iuddewig, na chynnorthwyo y rhai a wnel hynny, trwy eu diwallu ag ŷd, llongau, neu arian. Ac os goresgynnir yr Iuddewon gan neb, y Rhufeiniaid a'u cynnorthwyant, cyn belled ag y byddo yn eu gallu. A thrachefn, os goresgyn neb y Rhufeiniaid, yr Iuddewon a'u cynnorthwyant hwythau. Ac os bydd i genedl yr Iuddewon ewyllysio chwanegu at, neu gymmeryd ymaith ryw beth oddiwrth y cyngrair hwn o gynnorthwyad, bydd i hynny gael ei wneuthur trwy gydsyniad cyffredin y Rhufeiniaid. A pha chwanegiad bynnag a wneler felly, a fydd i aros mewn grym."

Y gorchymmyn a ysgrifennwyd gan Eupolemus, mab Ioan; a chan Jason, mab Eleazar; ‡ pan oedd Judas yn archoffeiriad y genedl; a Simon ei frawd yn flaenor y fyddin. A hwn oedd y cyttundeb cyntaf a wnaethpwyd rhwng y Rhufeiniaid a'r Iuddewon.

## PENNOD XI.

*Am ail ymgyrch Bacchides yn erbyn yr Iuddewon, a marwolaeth Judas Maccabeus.*

PAN hyspyswyd i Demetrius am farwolaeth Nicanor, a dinystr y fyddin oedd gyd ag ef; efe a ddanfonodd Bacchides drachefn â byddin i Judea. Yn ganlynol, efe a gychwynodd allan o Antioch, ac a ddaeth i Judea, gan wersyllu yn Arbela, dinas o Galilea: ac wedi gosod cynllwyn a chymmeryd y rhai oedd yno mewn ogofeydd, (canys llawer o'r bobl a ddiangasent i'r fath fannau;) efe a wnaeth gymmaint brys ag a fedrai i fyned i Jerusalem. Ac wedi deall fod Judas yn gwersyllu mewn pentref a elwid Bethzetho, efe a dywysodd ei fyddin i'w erbyn. Yr oeddynt yn ugain mil o wŷr traed, ac yn ddwy fil o wŷr meirch. Yn awr, nid oedd ychwaneg o filwyr gan Judas nag § un mil. Wedi canfod o'r rhai hyn amldra gwŷr Bacchides, yr oeddynt yn ofnus ac a adawsant eu gwersyll; ac a ffoisant

yn yr adnodau a grybwyllir uchod; yr hyn oedd y pryd hynny i'w weled ar ddiwedd y vii bennod: a bod iddo yn ol hynny gael gwell copi; o ba un y diwygiodd ei gamsyniadau o'r blaen: yr hyn beth nid yw mewn un modd yn anarferol yng ngwaith yr awdwr hwn.

* Fel y byddai'r Asmoneaid yn uniawn etifeddion yr archoffeiriadaeth yn Judea, ar ddiwreiddiad yr hen deulu oddiwrth Joshua, mab Josedec, gwel Prid. ar y blynyddoedd 153 a 141.

† Pa mor dda y cyttuna yr hanesion Rhufeinig, â'r adroddiad hwn o fuddugoliaethau ac amgylchiad cadarn y Rhufeiniaid yn yr amser hwn: gwelwch y nodau ar argraphiad Havercamp. Yn unig fod rhifedi y seneddwyr yn Rhufain y pryd hynny yn 320, nis gellir debygaf ei wybod oddiwrth 1 Maccab. viii. 15.

‡ Yr argraph hwn sydd yn eisiau, 1 Maccab. viii. 17, 29, ac sydd raid eu bod yn eiriau Josephus; yr hwn, trwy gamsyniaeth, a feddyliodd, fel y sylwiasom yn ddiweddar, fod Judas y pryd hwn yn archoffeiriad; ac yn ganlynol a gyfrifodd ei frawd Jonathan y pryd hynny yn flaenor y fyddin; yr hyn beth ni ymddengys ei fod hyd ar ol marwolaeth Judas.

§ Nad oedd gan y copi yma o'r eiddo Josephus, fel ag yr ysgrifennwyd ganddo ef, 1000 ond 3000, gyd â'r 1 Maccab. ix. 6, sydd dra eglur: o herwydd er i'r rhan fwyaf ddiangc ymaith ar y cyntaf, ie yn Josephus, yn gystal ag yn 1 Maccab. ix. 6. etto, megis yno, felly yma, dywedir aros o 800 gyd â Judas. Yr hyn a fyddai ymadrodd ffol pe buasai yr holl rifedi ddim ond 1000.

oll ymaith oddigerth wyth gant. Yn awr, wedi i Judas gael ei adael gan ei filwyr ei hun, a'r gelyn yn gwasgu arno, heb roddi iddo ddim amser i gasglu ei fyddin ynghyd; efe a dueddwyd i ymladd â byddin Bacchides, er nad oedd ganddo ond wyth gant o wŷr gyd ag ef. Felly efe a'u cynghorodd i wynebu ar y perygl yn galonnog, ac ymosod ar y gelyn. A phan ddywedasant nad oeddynt yn gorph digonol o ddynion i ymladd â byddin mor fawr; gan ymresymmu ynghylch encilio ac achub yn awr eu hunain: a phan gasglai ei wŷr ei hun oll ynghyd, y syrthient ar y gelyn yn ol hynny: ei attebiad ef ydoedd hyn: "Na edryched yr haul fyth ar y fath beth, ac i mi ddangos fy nghefn i'm gelynion; ac er mai dyma'r amser a'm dug i i'm diwedd, a bod yn rhaid i mi farw yn y frwydr hon, myfi a safaf atti yn gefnog; gan ddioddef pa beth bynnag a ddel arnaf, yn hytrach na thrwy ddiangc ymaith ddwyn gwaradwydd ar fy ymdrechiadau gorchestol o'r blaen, a difwyno eu hardderchowgrwydd." Dyma'r araith a wnaeth wrth y rhai oedd yngweddill gyd ag ef, y rhai a annogodd efe i orddiwes y gelynion.

Ond Bacchides a dynnodd ei fyddin allan o'u gwersyllfa, ac a'u dododd mewn trefn i ymladd. Efe a osododd wŷr meirch ar bob ochr; a'r milwyr traed a'r saethyddion a osododd o flaen yr holl fyddin: ond efe ei hun a safodd yr ochr ddehau. Ac wedi iddo fel hyn drefnu ei fyddin, ac yn myned i ymgyssylltu brwydr â'r gelyn efe a orchymmynodd i'r udganwr roddi arwydd, a'r fyddin i roddi bloedd, ac i syrthio ar y gelyn. Ac wedi i Judas wneud yr un modd, efe a unodd mewn brwydr â hwynt. Ac megis yr ymladdodd y naill blaid â'r llall yn wrol, a'r frwydr yn parhau hyd ostyngiad haul, Judas a ganfyddodd fod Bacchides, a'r rhan gadarnaf o'r fyddin ar y tu dehau; ac ar hynny a gymmerodd rai o'i wŷr dewraf gyd ag ef, gan redeg ar y rhan honno o'r fyddin, a syrthio ar y rhai oeddynt yno, a thorri eu rhesau, a'u gyrru i'r canol, a gwneud iddynt ffoi ymaith; gan eu herlid cyn belled a'r mynydd Aza. Ond pan welodd y rhai hynny o'r ochr asswy, fod yr asgell ddehau o filwyr wedi eu dodi i ffoi, hwy a amgylchasant Judas, gan ei erlid a dyfod y tu ol iddo, gan ei gymmeryd i ganol eu byddin. Felly ac efe heb allu diangc, ond wedi ei gwmpasu ar bob ochr gan elynion, efe a safodd yn llonydd; ac yna efe a'r rhai oedd gyd ag ef a ymladdasant. Ac wedi iddo ladd llawer o'r rhai a ddaethant i'w erbyn, efe ei hun o'r diwedd a glwyfwyd, ac a syrthiodd, ac a roddodd i fynu'r yspryd; ac a fu farw mewn ffordd gyffelyb i'w weithrediadau blaenorol. Wedi marw Judas, ni feddai y milwyr oedd gyd ag ef neb a allent hyderu arno fel eu blaenor: a chan weled eu hunain wedi eu hymddifadu o'r fath dywysydd, hwy a ffoisant. Ond Simon a Jonathan, brodyr Judas a derbyniasant ei gorph marw, trwy gyttundeb, gan y gelyn i'w ddwyn ymaith i'r pentref Modin; lle y claddasid ei dad, ac yno y claddasant yntau; a'r lliaws a alarasant am dano ddyddiau lawer, wedi cyflawni y ddefod ddyledus o wneuthur angladd parchus. A dyma'r diweddiad y daeth Judas iddo. Efe a fuasai yn un o wroldeb hynod, ac yn rhyfelwr mawr; ac hefyd yn ystyriol o orchymmyn ei dad Mattathias: gan fyned trwy bob anhawsderau i wneuthur ac i ddioddef tros ryddid ei gydwladwyr. A phan oedd ei eirda mor rhagorol ag efe yn fyw, efe a adawodd iddo glod a choffadwriaeth ogoneddus o'i ol, trwy ynnill rhyddid i'w gydgenedl; gan eu gwaredu o gaethiwed tan y Macedoniaid. Ac wedi meddiannu'r archoffeiriadaeth dair blynedd, efe a fu farw.

---

# LLYFR XIII.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddwy Flynedd a Phedwar Ugain.*

O FARWOLAETH JUDAS MACCABEUS, HYD FARWOLAETH Y FRENHINES ALEXANDRA.

## PENNOD I.

*Am ddilyniad Jonathan i'r Llywodraeth, ar ol Marwolaeth ei frawd Judas. Ac am y Rhyfel a ddarfu efe, ynghyd a'i frawd Simon, ddwyn ymmlaen yn erbyn Bacchides.*

TRWY ba foddion yr adferwyd i genedl yr Iuddewon eu rhyddid, wedi eu caethiwo gan y Macedoniaid; a pha ymdrech ac ymrysoniad gwaedlyd a gafodd Judas, prif-flaenor eu byddin, wrth ymladd trostynt â'r gelynion, a ddangoswyd yn y llyfr o'r blaen. Ond wedi ei farw ef, yr holl rai annuwiol, a'r rhai a droseddent gyfreithiau eu hynafiaid, a dyfasant i fynu drachefn yn Judea; gan ymosod ar eu cydwladwyr, a'u blino ar bob llaw. Y newyn hefyd a ddilynodd a fu yn achlysur i'w drygioni, ac a gystuddiodd yn drwm eu gwlad; hyd oni ddarfu nid ychydig, oblegid eu diffyg o angenrheidiau, ac o herwydd na's gallent ymgynnal tan y gofidiau yr oedd y newyn a'u gelynion yn ei ddwyn arnynt, ymadael â'u gwlad, a myned ymaith at y Macedoniaid. Ac yn awr Bacchides a gynnullodd yr Iuddewon, y rhai a ddirywiasant oddiwrth eu cymmydogion ynghyd; gan roddi gofal y wlad arnynt hwy. Yn ganlynol hwy a ddaliasant gyfeillion Judas, a'r rhai oedd o'i blaid ef, gan eu traddodi i Bacchides; yr hwn wedi iddo yn gyntaf eu poeni wrth ei ewyllys, trwy'r moddion hynny efe o'r diwedd a'u lladdodd hwynt. Ac wedi dyfod blinder mor fawr y pryd hyn ar genedl yr Iuddewon, na phrofasant ei gyffelyb o'r blaen wedi eu dychweliad o Babilon; y rhai oedd yn aros yn fyw o gymdeithion Judas, wrth weled y genedl yn barod i gael eu difetha mewn modd tra thruenus, a ddaethant at ei frawd Jonathan, gan ddymuno arno ddilyn ymarferiad ei frawd Judas, yn y gofal hwnnw ag oedd ganddo tros ei gydwladwyr; o herwydd rhyddid cyffredin pa rai y buasai farw hefyd: ac na adawai y genedl i fod heb lywodraethwr, yn enwedig yn yr amgylchiad dinystriol yr oedd ynddo yn bresennol. A phan ddywedodd Jonathan ei fod yn barod i farw trostynt; ac am na chyfrifid ef yn wir mewn un modd yn waelach na'i frawd, efe a osodwyd i fod yn bennaeth ar fyddin yr Iuddewon.

Wedi clywed o Bacchides hyn, ac yn ofni y gallai Jonathan wneuthur blinder i frenin y Macedoniaid, megis y y gwnaethai Judas o'i flaen, efe a ddyfeisiodd pa fodd y gallai ei ladd trwy fradwriaeth. Ond y bwriad hwn a ddeallwyd gan Jonathan, a chan ei frawd Simon; y rhai a gymmerasant eu holl gymdeithion, ac a ffoisant ymaith i'r anialwch ag oedd nesaf at y ddinas. Ac wedi eu dyfod at y llynn a elwid Asphar, hwy a arosasant yno. Ond pan wybu Bacchides eu bod mewn amgylchiad isel, ac yn y lle hwnnw, efe a brysurodd i syrthio arnynt gyd â'i luoedd; a chan wersyllu tu hwnt i'r Iorddonen, efe a chwanegodd ei fyddin. Ac wedi i Jonathan gael gwybod fod Bacchides yn dyfod ar ei warthaf, efe a ddanfonodd ei frawd Ioan, yr hwn hefyd a elwid Gadis, at yr Arabiaid Nabateaidd, fel y gadawai ei ddodrefn gyd â hwynt, nes yr elai'r frwydr â Bacchides trosodd. Canys yr oeddynt hwy yn gyfeillion i'r Iuddewon. Ond meibion Ambri a osodasant gynllwyn i Ioan o'r ddinas Medaba, ac a'i goddiweddasant ef, a'r rhai oedd gyd ag ef; gan eu hyspeilio o'r hyn oll oedd ganddynt. Hwy hefyd a laddasant Ioan a'i holl gymdeithion. Pa fodd bynnag, hwy a gospwyd yn ddigonol gan frodyr Ioan am yr hyn a wnaethant, fel y cawn adrodd ar fyrder.

Pan glywodd Bacchides fod Jonathan wedi gwersyllu ym mysg llynnoedd yr Iorddonen, efe

a sylwiodd pa bryd y deuai eu dydd Sabboth, ac yna ei orddiwes ef; gan feddwl nad ymladdai oblegid y gyfraith oedd yn eu gorchymmyn i orphwys ar y dydd hwnnw. Ond efe a gynghorodd ei gymdeithion i ymladd, am fod eu bywydau mewn perygl, gan eu bod wedi eu hamgylchu gan afon, a chan eu gelynion, ac nad oedd un ffordd iddynt o ddiangfa: oblegid fod y gelynion yn gwasgu arnynt o'r tu blaen, a bod yr afon o'u hol. Felly ar ol iddo weddio ar Dduw am roddi iddynt y fuddugoliaeth, efe a ymgyssylltodd frwydr â'r gelyn, ac a ddadymchwelodd lawer: ac fel yr oedd yn canfod Bacchides yn dyfod i fynu yn hŷf atto, efe a estynnodd allan ei ddeheulaw i'w daro ef: ond y llall yn ei rag-weled ac yn gochel ei ergyd, Jonathan a'i gymdeithion a lammasant i'r afon, ac a nofiasant trosti; a thrwy hynny a ddiangasant tu hwnt i'r Iorddonen; pan nad aeth y gelyn tros yr afon honno. Ond Bacchides a ddychwelodd ar fyrr i'r tŵr yn Jerusalem; wedi colli ynghylch * dwy fil o'i fyddin. Efe hefyd a amddiffynnodd lawer o ddinasoedd Judea, muriau y rhai ydoedd wedi eu dryllio; megis Jericho, Emmaus, Bethoron, Bethel, Timna, Pharatho, Tecoa, a Gazara; gan adeiladu tyrau ym mhob un o'r dinasoedd hynny, a'u hamgylchynu â chaerau cedyrn, ag ydoedd dra ehang; gan ddodi gwersylloedd ynddynt, fel y gallent ruthro allan o honynt, a drygu'r Iuddewon. Efe hefyd a amddiffynnodd y tŵr yn Jerusalem yn fwy na 'r lleill oll. Ymhellach, efe a gymmerodd feibion pennaethiaid yr Iuddewon yn wystlon; gan eu cau i fynu yn y tŵr, a thrwy hynny ei amddiffyn.

Ynghylch yr un amser y daeth un at Jonathan, ac at ei frawd Simon, gan ddywedyd wrthynt fod meibion Ambri yn cynnal gŵyl briodasol, ac yn dwyn y briod-ferch gyd â hwynt, yr hon oedd ferch i ŵr enwog ym mysg yr Arabiaid, o'r ddinas Gabbatha; a bod y forwyn i gael ei hebrwng gyd â rhialtwch, anrhydedd, a chyfoeth mawr. Felly a Jonathan a Simon yn barnu fod yr amser presennol yn ymddangos yn gymmwys i ddial marwolaeth eu brawd; a bod ganddynt ddigon o gryfdwr i fynnu tâl ganddynt am ei farwolaeth, hwy a wnaethant frys i ddyfod i Medeba; ac a wyliasant ym mysg y mynyddau am ddyfodiad y gelynion. A chyn gynted ag y gwelsant hwy yn hebrwng y forwyn, a'i phriod-fab, ac â chymmaint cwmpeini o'u cyfeillion gyd â hwynt ag a ellid ddisgwyl yn y briodas hon, hwy a ruthrasant allan o'u cynllwynfa, ac a'u lladdasant oll; gan feddiannu eu haddurniadau, a'r holl ysglyfaeth oedd yn eu dilyn hwynt: ac felly hwy a ddychwelasant, ac a dderbyniasant y boddlonrwydd hyn am eu brawd Ioan, oddiwrth feibion Ambri. Canys y meibion hynny eu hunain, yn gystal â'u cyfeillion, a'u gwragedd, a'u plant oedd yn eu dilyn hwynt, a ddifethwyd; a hwy ynghylch pedwar cant o nifer.

Simon a Jonathan yn ol hyn a ddychwelasant at lynnoedd yr afon, ac a breswyliasant yno. Ond Bacchides, wedi iddo sicrhau holl Judea â gwersylloedd, a ddychwelodd at y brenin. Ac yna y bu i fatterion Judea aros mewn amgylchiad o lonyddwch am ddwy flynedd.† Ond wedi i'r ffoaduriaid a'r rhai annuwiol weled Jonathan a'r rhai oedd gyd âg ef yn byw mewn llonyddwch yn y wlad, ar gyfrif yr heddwch; danfonasant at y brenin Demetrius, i'w annog i ddanfon Bacchides i orddiwes Jonathan; yr hyn, meddant, a ellid ei wneuthur yn ddiboen, ac mewn un nos o amser: ac os goddiweddid hwy yn ddiarwybod, y gellid eu lladd hwynt oll. Felly y brenin a ddanfonodd Bacchides; yr hwn, pan ddaeth i Judea, a ysgrifennodd at ei holl gyfeillion, yn gystal Iuddewon a chynorthwywyr eraill, ar fod iddynt oresgyn Jonathan, a'i ddwyn atto ef. Ond pan, wedi eu holl ymdrechiadau, na allasant gymmeryd Jonathan, (canys yr oedd efe yn adnabyddus o'r maglau a osodasant iddo, ac a wyliodd yn dra gofalus yn eu herbyn;) Bacchides a ddigiodd wrth y ffoaduriaid hynny, megis rhai a'i twyllasent ef a'r brenin; ac a laddodd ddeg a deugain o'u blaenoriaid. Ar hynny Jonathan, gyd â'i frawd, a'r rhai oedd gyd â hwynt, a symmudasant i Bethagala, pentref a'i sefyllfa yn yr anialwch; oddiar ofn Bacchides. Efe hefyd a adeiladodd

* Un mil, 1 Maccab. ix. 43.

† Bl. 159 a 158 C. C.

dyrau ynddi, ac a'i hamgylchynodd â chaerau, gan gymmeryd gofal i osod gwyliadwriaeth arni. Wrth ba hanes, Bacchides a arweiniodd ei fyddin ei hun, ynghyd â'i gynnorthwywyr Iuddewig, i ddyfod yn erbyn Jonathan; gan wneuthur ymosodiad ar ei amddiffynfeydd, a gwarchae arno ddyddiau lawer. Ond ni laesodd cefnogrwydd Jonathan, o herwydd tanbeidrwydd Bacchides yn y cynllwyn, ond a'i gwrthwynebodd yn gefnog. A thra y gadawodd ei frawd Simon yn y ddinas, i ymladd â Bacchides, efe a aeth yn ddirgel allan i'r wlad, ac a gafodd ynghyd gorph mawr o ddynion i uno â'i blaid ei hun, ac a syrthiodd ar wersyll Bacchides yn y nos, ac a ddifethodd lawer o honynt. Ei frawd Simon hefyd oedd yn gwybod am ei oddiweddiad o honynt; oblegid efe a ganfu y gelynion wedi eu lladd ganddo: felly yntau a ruthrodd allan arnynt, ac a losgodd y peiriannau a wnaethai y Macedoniaid, ac a wnaeth laddfa fawr arnynt. A phan welodd Bacchides ei hun wedi ei amgylchu â gelynion, efe a syrthiodd i anobaith, megis wedi ei ddyrysu gan annisgwyliadwy aflwyddiant y gwarchaedigaeth hwn. Pa fodd bynnag, efe a dywalltodd ei anfoddlonrwydd wrth yr anhap yma, ar y ffoaduriaid a ddanfonasent am dano oddiwrth y brenin, megis rhai a'i twyllasai ef. Felly'r oedd ganddo ewyllys i orphen y cynllwyn hwn mewn modd cymmodlon, os byddai bossibl iddo wneuthur hynny; ac yna i ddychwelyd adref.

Pan ddeallodd Jonathan ei dueddiadau ef, efe a ddanfonodd gennadau atto, ynghylch cyngrair o gyfeillgarwch, a chyd-amddiffyniad; ac adferyd y rhai a gymmerasent yn gaethion ar bob ochr. Felly Bacchides a farnodd hyn yn ffordd weddus o ddychweliad adref, ac a wnaeth gyfammod o gyfeillgarwch â Jonathan: trwy'r hwn y cyttunasant na wnaent ryfel mwy y naill yn erbyn y llall. Yn ganlynol, efe a adferodd y caethion, gan gymmeryd ei wŷr ei hun gyd ag ef, a dychwelyd at y brenin i Antioch. Ac ar ol yr ymadawiad hwn, ni ddychwelodd fyth i Judea drachefn.* Yna y cymmerodd Jonathan y cyfle hwn o lonyddwch gwladol, ac a aeth i breswylio yn y ddinas Michmash; ac yno y llywodraethodd y lliaws, ac y cospodd y rhai annuwiol; a thrwy'r moddion hynny a burodd y genedl o honynt.

## PENNOD II.

*Am y manteision a ganiattawyd i Jonathan, yn gyntaf gan Demetrius, ac yn ol hynny gan Alexander Bala, mewn trefn i fwynhau ei gynnorthwy; ac am farwolaeth Demetrius.*

YN awr, yn y ganfed a thrugain mlynedd, Alexander,† mab Antiochus Epiphanes, a ddaeth i fynu i Syria, ac a gymmerodd Ptolemais;‡ wedi i'r milwyr y rhai oedd o'i mewn ei thraddodi iddynt. Canys yr oeddynt mewn gelyniaeth â Demetrius, ar gyfrif ei drahausder, ac anhawsdra nesâd atto. Canys efe a gaëai ei hun i fynu mewn palas ag ydoedd â phedwar tŵr iddo, yr hwn a adeiladasai iddo ei hun, heb fod neppell oddiwrth Antioch, ac heb ollwng neb i mewn atto. Yr ydoedd hefyd yn syrthlyd ac yn esgeulus ynghylch yr achosion cyffredin, yr hyn oedd yn ei wneuthur yn gâs gan ei ddeiliaid. Wedi i Demetrius gan hynny glywed fod Alexander yn Ptolemais, efe a gymmerodd ei holl fyddin ac a'i harweiniodd allan i'w erbyn: efe hefyd a ddanfonodd gennadwyr at Jonathan, ynherthynas i gyngrair o gynnorthwyad a chyfeillgarwch. Canys efe a ymroddodd i fod yn flaenllaw ar Alexander; rhag i'r llall gyttuno ag ef yn gyntaf, ac ynnill cynnorthwy ganddo. A hyn a wnaeth oddiar yr ofn oedd ganddo rhag cofio o Jonathan y fath driniaeth ddrwg a gawsai gynt ganddo; ac yr unai â'r rhyfel presennol yn ei erbyn. Efe a

* 1 Macc. ix. 72.

† Yr Alexander Bala yma, yr hwn yn sicr a gymmerodd arno fod yn fab i Antiochus Epiphanes, ac a arddelid fel y cyfryw gan yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid, ac amryw eraill; ac etto a gyfrifir gan rai hanesyddion yn dwyllwr, pa fodd bynnag, gan Josephus fe gredwyd ei fod yn wir fab yr Antiochus hwn, a grybwyllir am dano ganddo ef bob amser fel y cyfryw. A chan fod dechreuol awdwr cydoesol ac awdurdodol llyfr cyntaf y Maccabeaid x. 1. yn ei alw wrth enw ei dad, Epiphanes, ac yn dywedyd ei fod yn fab Antiochus, yr wyf yn meddwl nad yw'r ysgrifenwyr eraill, y rhai ydynt lawer diweddarach, i'w dilyn yn wrthwyneb i'r fath dystiolaethau; er o bossibl ddarfod ei genhedlu gan Epiphanes o fenyw heb fod o deulu cyfrifol. Hefyd, brenin yr Aipht, Philometor, ar fyrr a roddes ei ferch iddo yn briod; yr hyn ysgatfydd ni wnaethai pe credasai mai ffug-wr ydoedd; ac o enedigaeth mor wael ag y mynnai historiawyr, ei fod. Gelwir ef hefyd yn un o hil dwyfol yn yr argraph ar ei arian, fel y sicrha Spanheim i ni: ac ni ymddengys un tyst hynafiaethol yn ei erbyn.

‡ 1 Maccab. x. 1.

roddes orchymmyn, gan hynny, am ganiattau i Jonathan gyfodi byddin, a pheri i arfau gael eu gwneuthur; ac y rhyddheid y rhai hynny a gauasid i fynu fel gwystlon gan Bacchides yn y castell yn Jerusalem. Wedi i'r digwyddiad da hwn ddyfod i ran Jonathan, trwy oddefiad Demetrius, efe a ddaeth i Jerusalem, ac a ddarllennodd lythyr y brenin yng nghlywedigaeth y bobl, a'r rhai oedd yn cadw'r tŵr. Y dynion annuwiol, a'r ffoaduriaid oedd yn y tŵr a ofnasant yn fawr, oblegid caniattâd y brenin i Jonathan gyfodi byddin, a'i dderbyniad yn ol o'r rhai a gymmerasid fel gwystlon. Felly Jonathan a draddododd bob un o honynt i'w rhieni. Ac yna y gwnaeth Jonathan ei arosfa yn Jerusalem, gan adnewyddu'r ddinas i well sefyllfa, a diwygio'r adeiladau fel y gwelodd yn oreu. Canys efe a roddes orchymmyn fod i gaerau'r ddinas gael eu hadeiladu o gerrig nadd pedair-ongl, fel y byddai'n gadarnach yn erbyn y gelynion. Ac wedi i'r rhai oedd yn cadw'r gwersylloedd yn Judea weled hyn, hwy oll a'u gadawsant, ac a ffoisant i Antioch; oddieithr y rhai oedd yn y ddinas Bethsura, a'r rhai oedd yn y tŵr yn Jerusalem. Canys y rhan fwyaf o'r rhai hyn oedd gynnwysedig o'r Iuddewon annuwiol a'r ffoaduriaid; ac ar y cyfrif hynny ni roddasant i fynu y gwersylloedd hyn.

Pan wybu Alexander pa addewidion a wnaethai Demetrius i Jonathan; a chan ddeall am ei wrolder, a'r pethau mawrion a wnaethai wrth ymladd â'r Macedoniaid; ac heblaw hyn, pa fath galedi a ddioddefasai oddiwrth Demetrius a Bacchides, blaenor byddin Demetrius: dywedodd wrth ei gyfeillion na fedrai yn bresennol gael neb a allai roddi gwell cynnorthwy iddo na Jonathan; yr hwn oedd yn wrol yn erbyn ei elynion, a chanddo gasineb tu ag at Demetrius; am ddioddef o hono lawer o bethau caledion ganddo ef; a gweithredu o hono lawer o bethau celyd i'w erbyn. Os oeddynt hwy gan hynny o'r tybiau yr ynnillent ef i fod yn gyfeillgar yn erbyn Demetrius, yr oedd yn fwy er eu mantais ei wahodd i'w cynnorthwyo yn awr, na phryd arall.* Ac wedi ei benderfynu ganddo ef a'i gyfeillion i ddanfon at Jonathan, efe a ysgrifennodd atto yr epistol canlynol:

"Y brenin Alexander, at ei frawd Jonathan, yn anfon annerch. Nyni er's hir amser a glywsom am dy wrolder a'th ffyddlondeb: ac am y rheswm hwnnw, a ddanfonasom attat i wneuthur cyngrair o gyfeillgarwch a chyd-gynnorthwyad â thi. Yr wyf, gan hynny, yn dy ordeinio y dydd hwn yn archoffeiriad yr Iuddewon; ac yn appwyntio dy alw i mi yn gyfaill. Yr wyf hefyd wedi danfon i ti yn anrhegion, wisg borphor a choron aur: ac yn dymuno, wedi dy anrhydeddu gennyf yn awr, ar fod i ti yn yr un modd fy mharchu innau."

Pan dderbyniodd Jonathan y llythyr hwn, efe a †ddododd am dano y wisg offeiriadol ar ŵyl y pebyll; ymmhen y pedair blynedd ar ol marwolaeth ei frawd Judas. Canys yn oed yr amser hwnnw ni wnaethid un archoffeiriad. Felly efe a gyfododd fyddinoedd mawrion, ac a gafodd helaethrwydd o arfau wedi eu parottoi. Hyn a fawr ofidiodd Demetrius wedi clywed am dano, ac a barodd iddo feio arno ei hun am ei hwyrfrydigrwydd, na buasai yn rhagflaenu Alexander, ac wedi ynnill ewyllys da Jonathan: canys rhoddasid amser iddo i wneuthur hynny. Pa fodd bynnag, efe hefyd a ysgrifennodd lythyr at Jonathan, ac at y bobl; cynnwysiad pa un sydd fel y canlyn:

"Y brenin Demetrius at Jonathan, ac at genedl yr Iuddewon, yn anfon annerch. Yn gymmaint ag i chwi gynnal cyfeillgarwch â ni; a phan demtiwyd chwi gan ein gelynion, ni ymgyssylltasoch eich hunain â hwynt: yr wyf yn eich canmol am eich ffyddlondeb, ac yn eich cynghori i barhau yn yr un tueddiad, am yr hyn y derbyniwch wobrwyon gennym. Canys myfi a'ch rhyddhaf oddiwrth y rhan fwyaf o'r deyrnged a'r trethoedd a dalasoch i'r brenhinoedd o'm blaen, yn gystal ag im' fy hun. Ac yr wyf

* 1 Maccab. x 15.

† Gan na ddarfu i Jonathan ymwisgo â'r gwisgoedd offeiriadol saith neu wyth mlynedd ar ol marwolaeth ei frawd Judas, nac hyd ŵyl y pebyll yn nhrugeinfed a chan mlynedd y Seleucidæ, 1 Maccab. x. 21. diwygiad Petitius a ymddengys yma fod yn haeddu ein hystyriaeth: yr hwn yn lle, "Ar ol pedair blynedd wedi marw ei frawd Judas," a fynnai i ni ddarllen, "Ac am hynny yn ol wyth mlynedd wedi marwolaeth ei frawd Judas." Hyn a gyttunai yn weddol â'r amseriad yn y Maccabeaid; ac ag amseryddiaeth gywir Josephus ei hun, ar ddiwedd yr XX. llyfr o'r Hynafiaethau yma. i'r hyn ni ellir dwyn y testyn presennol i wneuthur.

fi yn awr yn eich rhyddhau oddiwrth y fath deyrnged ag a arferech bob amser ei thalu: ac heblaw hyn yr wyf yn maddeu i chwi y dreth ar halen, a'r gwerth ar goronau * a arferech eu hoffrwm i mi. Ac yn lle'r drydedd ran o ffrwythau'r maes, a hanner ffrwyth y prennau, yr wyf yn ymwrthod â'm rhan i o honynt o'r dydd hwn. Ac am arian y pennau a ddylid roddi i mi am bob pen o drigolion Judea, a'r tair tywysogaeth cyssylltedig â Judea, Samaria, Galilea, a Pherea, yr wyf yn rhoddi hynny i fynu tros yr holl amser i ddyfod. Fy ewyllys hefyd yw, fod dinas Jerusalem yn sanctaidd ac yn ddihalog; ac yn rhydd oddiwrth ddegwm a threthoedd i'r terfynau eithaf. Ac yr wyf mor bell yn ymwadu â'm hawl i'r tŵr neu gastell, ag i ganiattâu i Jonathan eich archoffeiriad, gymmeryd meddiant o hono: fel y gosodo efe y fath wersyllwyr ynddo ag a fyddo yn eu dewis am ffyddlondeb ac ewyllys da iddo ei hun, fel y cadwont ef i ni. Yr wyf hefyd yn rhyddhau yr holl Iuddewon hynny a wnaethpwyd yn gaeth-weision yn fy nheyrnas; ac yn gorchymmyn na chymmerer anifeiliaid yr Iuddewon at ein gwasanaeth ni. A bydded eu Sabbothau a'u holl ŵyliau, ynghyd a thridiau o flaen pob un o honynt, yn rhydd oddiwrth bob trethoedd. Yr un modd yr wyf yn gosod yn rhyddion yr Iuddewon sy'n preswylio yn fy nheyrnas, ac yn gorchymmyn na wneler niweid iddynt. Yr wyf hefyd yn rhoddi cennad i'r sawl a ewyllysio o honynt i ymgyssylltu â'm byddinoedd, fod iddynt wneuthur hynny, hyd rifedi o ddeg mil ar hugain; pa ryw filwyr Iuddewig, i ba le bynnag yr elont, a gant yr un taliadau a'r rhai o'm byddin fy hun. A rhai o honynt a osodaf yn fy ngwersylloedd, a rhai fel gwyliedyddion im' fy hun, ac yn llywodraethwyr yn fy llys. Yr wyf yn rhoddi cennad iddynt hefyd i arferyd cyfreithiau eu hynafiaid: ac ewyllysiaf fod iddynt awdurdod tros y tair taleithiau cyssylltedig â Judea. A bydded fod ym meddiant yr archoffeiriad i ofalu, na byddo gan un Iuddew deml arall i addoli ond yr un hynny yn Jerusalem. Yr wyf yn gadael hefyd allan o'm teyrnged fy hun yn flynyddol at y costau ynghylch yr aberthau, ddeng mil a deugain a chant o drachmæ; a pha ryw arian a ellir eu hepcor a fydd eiddo chwi. Yr wyf hefyd yn maddeu i chwi y deng mil drachmæ a dderbyniai y brenhinoedd oddiwrth y deml; oblegid eu bod yn perthyn i'r offeiriaid sydd yn gweini yn y deml. A phwy bynnag a fföa at y deml yn Jerusalem, neu i'r lleoedd perthynol i'r unrhyw; neu ag sydd â dyled arnynt i'r brenin; neu sydd ar ryw gyfrif arall yno, gosoder hwynt yn rhydd, a'u heiddo mewn diogelwch. Yr wyf yn caniattau i chwi gennad i adgyweirio a gwellhau adeilad eich teml, a bod i'r cwbl gael ei wneuthur ar fy nhraul i. Yr wyf yn rhoddi rhyddid i chwi hefyd i ail-adeiladu muriau eich dinas, a gwneud arnynt dyrau uchel; a'u gorphen hwynt ar fy nhraul i. Ac os oes un dref amddiffynnol arall a fyddai yn gyfleus i'r wlad Iuddewig ei bod yn lle o gadernid; adeilader hi felly ar fy nghost i."

Hyn oedd y peth a addawodd Demetrius, ac a ganiattaodd i'r Iuddewon trwy ei lythyr. Ond y brenin Alexander a grynhôdd fyddin liosog o filwyr cyflogedig, a'r rhai a ffoisant atto o Syria; ac a wnaeth ymgyrch yn erbyn Demetrius. A phan ddaethant i ymladdfa, adain neu du asswy byddin Demetrius a ddodasant y rhai gogyfer â hwynt i ffoi, gan eu herlid i belldra mawr; gan ladd llawer o honynt, ac yspeilio eu gwersyll. Ond yr adain neu'r ochr ddehau, pa fan y digwyddodd fod Demetrius, a gurwyd; a'r gweddill a ffoisant ymaith. Demetrius yn wir a ymladdodd yn wrol, ac a orchfygodd lawer o'r gelynion: ond fel ag yr oedd yn erlid eraill, ei farch a'i dygodd i gors neu siglen ddofn, lle'r oedd yn anhawdd iddo ddyfod allan. Ac yno y digwyddodd wedi i'w farch syrthio tano, na allai ddiangc rhag cael ei ladd. Canys wedi i'r gelynion ganfod yr hyn a ddigwyddasai iddo; hwy a ddychwelasant yn ol, gan ei amgylchu, ac anelu eu saethau atto. A chan ei fod yn

* Cymmerwch yma un o nodau Grotius. "Yr Iuddewon," eb efe, "oeddynt arferol o anrhegu brenhinoedd Syria â choronau. Yn ol hynny yr aur hwnnw a delid yn lle'r coronau, neu'r hyn a werrid i'w gwneuthur hwynt a elwid yn aur coronau, neu goron-dreth." Ar 1 Mac x. 29.

awr ar draed, efe a ymladdodd yn wrol. Ond wedi cael ei archolli gymmaint, yr oedd yn analluog i ddal i fynu yn hwy, eithr efe a syrthiodd.* A hyn ydoedd y diwedd y daeth Demetrius iddo, wedi teyrnasu † un ar ddeg o flynyddoedd.

## PENNOD III.

*Am y cymdeithasrwydd oedd yn aros rhwng Onias a Ptolemy Philometor; ac am y deml a adeiladodd Onias yn yr Aipht, gyffelyb i'r un honno yn Jerusalem.*

MAB Onias yr archoffeiriad, yr hwn ydoedd o'r un enw a'i dad, a'r hwn a ffodd at Ptolemy Philometor, oedd yn byw yn awr yn Alexandria, fel y ‡ crybwyllasom eisoes. Pan welodd yr Onias hwn Judea yn cael ei gorthrymmu gan y Macedoniaid, a'u brenhinoedd; oddiar ddymuniad i bwrcasu iddo ei hun goffadwriaeth a chlod di-ddarfod, efe a ymroddodd i anfon at y brenin Ptolemy, a'r frenhines Cleopatra, i ofyn cennad ganddynt i adeiladu teml yn yr Aipht, gyffelyb i honno yn Jerusalem; a bod iddo ordeinio Lefiaid ac offeiriaid allan o'u hiliogaeth eu hunain. Y rheswm pennaf o herwydd pa un yr oedd yn dymuno gwneuthur hynny ydoedd, ei hyder ym mhrophwydoliaeth y prophwyd Esay, yr hwn oedd yn byw ynghylch chwe chan mlynedd o'r blaen; ac a rag-ddywedodd fod teml i'r Hollalluog Dduw i gael ei hadeiladu yn sicr yn yr Aipht, gan ŵr o Iuddew. Yn ganlynol, Onias a ennynodd o sêl wrth y rhagfynegiad hwn, ac a ysgrifennodd yr epistol canlynol at Ptolemy a Cleopatra:

"Wedi gwneuthur llawer o bethau mawrion trosoch yn achosion y rhyfel, trwy gymmorth Duw; a hynny yn Cœlesyria a Phœnicia; daethum o'r diwedd gyd â'r Iuddewon i Leontopolis, a lleoedd eraill o'ch teyrnas; pan y cefais fod y rhan fwyaf o'ch pobl â themlau annhrefnus ganddynt; a bod ar y cyfrif hwn ynddynt ddrwg ewyllys y naill tu ag at y llall; yr hyn sy'n digwydd ym mhlith yr Aiphtiaid o herwydd lliosowgrwydd eu temlau; a'r gwahanol feddyliau ynghylch dwyfol addoliad. Yn awr, mi gefais le tra chymmwys mewn rhyw gastell sydd yn cael ei enw oddiwrth y wlad Diana. Y lle hwn sydd yn llawn o ddefnyddiau o bob math; ac wedi ei harddu â lluniau amryw greaduriaid cyssegredig. Fy nymuniad gan hynny ydyw, ar roddi o honoch gennad i mi i buro y lle cyssegredig hwn, ag sydd heb un perchennog iddo, ac wedi syrthio i lawr; ac adeiladu yno deml i'r Hollalluog Dduw, yn ol cynllun yr un hynny yn Jerusalem, ac o'r un faintioli; yr hyn a all fod er budd it' dy hun, dy wraig, a'th blant hefyd: fel y byddo i'r Iuddewon hynny a drigant yn yr Aipht, a chanddynt le i gyd-gyfarfod, mewn cyffelyb gyd-gymdeithasiad y naill â'r llall; ac yn gwasanaethu er dy fanteision. Canys y prophwyd Esay a rag-ddywedodd § y byddai allor yn yr Aipht i'r Arglwydd Dduw.‖ A llawer o'r fath bethau a brophwydodd ymherthynas i'r lle hwnnw."

* 1 Maccab. x. 50.

† Yn gymmaint ag y ceir gwaith hanesyddion eraill, yn awr mewn bod, yn cyfrif i'r Demetrius hwn 13 mlynedd o deyrnasiad, a Josephus yn unig 11; nid yw'r Deon Prideaux yn cam-wneuthur wrth osod i lawr y nifer 12.

‡ Llyfr XII. pen. 9.

§ Esay xix. 19.

‖ Fe ymddengys i mi, yn wrthwyneb i dŷb Josephus, ac awdwyr diweddar, yn Iuddewon a Christ'nogion, fod y brophwydoliaeth hon o Esay xix. 19, &c. "Y dydd hwnnw y bydd allor i'r Arglwydd ynghanol tir yr Aipht," &c. yn rhagfynegi yn gymmwys am adeilad teml Onias yn yr Aipht; a'i fod yn achlysur digonol i'r Iuddewon i'w hadeiladu, ac addoli Duw Israel yn yr unrhyw. Gwel yn Saesnaeg Authent. Rec. Rhan II. t. d. 755. Duw yn wir a ymddengys megis yn cymmeradwyo yn fwy yr aberthau a'r gweddiau a offrymmid yma, na'r rhai hynny yn Jerusalem. Ac yn wir nodau llwgr Iuddewig, neu anghwanegiad at law-sgrifen y testyn hwn, mewn trefn i ddigalonni eu pobl rhag bod yn gymmeradwy ganddynt addoli Duw yma, sydd dra chadarn; ac yn haeddu yn dda ein hystyriaeth a'n diwygiad o hono. Yr adnod ragflaenol yn Esay a red fel hyn: "Y dydd hwnnw y bydd pum dinas yn nhir yr Aipht yn llefaru iaith Canaan (yr iaith Hebraeg; a fydd lawn o Iuddewon, llyfrau cyssegredig pa rai oedd yn Hebraeg;) ac yn tyngu i Arglwydd y lluoedd; Dinas distryw y gelwir un," Esay xix. 18. Dyma enw dieithr, Dinas distryw! ar achos mor llawn o lawenydd! ac enw na chlybuwyd ei fath yn nhir yr Aipht, neu ysgatfydd yn un genedl arall! Yr hen ddarlleniad ydoedd yn eglur, "dinas yr haul," neu Heliopolis: ac Onkelos mewn effaith, a Symmachus, gyd â'r cyfieithiad Arabaidd, sydd yn hollol addef mai hynny yw'r iawn ddarlleniad. Y Septuagint hefyd, er anffurfio'r testyn ganddynt yn y copiau cyffredin, sydd yn ei galw Asedec, Dinas cyfiawnder: etto mewn dau neu dri o gopiau eraill, y gair Hebraeg ei hun am haul, Achares, neu Thares, sy'n cael ei gadw. A chan fod Onias yn penderfynu gyd â'r brenin a'r frenhines, fod prophwydoliaeth Esay yn cynnwys llawer o ragddywediadau eraill am y lle hwn, heblaw'r geiriau a grybwyllir ganddo ef, y mae'n dra thebygol fod hyn yn enwedig yn cael ei olygu ganddo: ac mai un rheswm pennaf paham yr ydoedd yn cymmwyso y geiriau hyn atto ei hun, a'i raglawiaeth o Heliopolis, yr hyn y mae Deon Prideaux yn profi yn eglur oedd yn y rhan hynny o'r Aipht; a pha ham yr ewyllysiodd ef adeiladu yn y llywodraethiad hynny o Heliopolis, a gyfrifid yn lle anaddas, ydoedd, fod ganddo yr un awdurdod i adeiladu y deml hon o'r eiddo ei hun yn Heliopolis ag yn yr Aipht. Y Deon Prideaux, gyd ag anhawsder, sy'n ceisio gochelyd yr olwg yma ar lygriad yr Hebraeg. Ond gan ei fod yn cynnal ei farn ei hunan ynghylch y deml hon, ni fynn ei olygu: ac yn wir y mae yn ymresymmu yma yn y modd mwyaf anghyfreithlon. Gwel ef yn y flwyddyn 149.

A dyma yr hyn a ysgrifennodd Onias at y brenin Ptolemy: duwioldeb pa un, ynghyd a'i chwaer a'i wraig Cleopatra, a ymddengys wrth yr epistol a ysgrifenasant mewn attebiad iddo: canys gosodasant y bai, a throseddiad y gyfraith ar ben Onias. A hyn oedd eu hattebiad. "Y Brenin Ptolemy, a'r Frenhines Cleopatra, at Onias yn anfon annerch: Nyni a ddarllenasom yr epistol yn cynnys dy ddeisyfiad; ym mha un yr wyt yn dymuno cael cennad i buro 'r deml sydd wedi syrthio i lawr yn Leontopolis, yn Nomus Heliopolis; a'r hwn a enwir oddiwrth y wlad Bubastis. Ar ba gyfrif nis gallwn lai na rhyfeddu y dichon fod yn foddlon gan Dduw adeiladu teml iddo mewn lle mor halogedig, a llawn o greaduriaid cyssegrol. Ond gan dy fod yn dywedyd i'r prophwyd Esay rag-fynegi am hyn er 's hir amser, yr ydym yn caniattau i ti ei wneuthur; os gellir ei wneud yn gyttunol â'ch cyfraith chwi; fel yr ymddengys felly na ddarfu i ni oll droseddu yn erbyn Duw wrth hynny."

Yn ganlynol, Onias a feddiannodd y lle; ac a adeiladodd deml, ac allor i Dduw; gyffelyb yn wir i'r un hynny yn Jerusalem, ond yn llai, a thlottach. Nid wyf yn tybied yn gymmwys i mi yn awr ddescrifio ei helaethder, neu 'r ddodrefn o'i mewn, yr hyn a ddangoswyd eisoes yn fy seithfed llyfr o ryfeloedd yr Iuddewon.* Pa fodd bynag, Onias a gafodd Iuddewon eraill hefyd yn debyg iddo ei hun, ynghyd ag offeiriaid a Lefiaid a gyflawnasant y gwasanaeth dwyfol yno.

Yn awr, fe ddaeth o amgylch ddarfod i'r Iuddewon Alexandraidd, a'r Samariaid hynny y rhai a dalent eu haddoliad i'r deml a adeiladasid yn nyddiau Alexander ar fynydd Gerizzim, y pryd hyn wneuthur ymraniad y naill yn erbyn y llall, ac a ddadleuasant ynghylch eu temlau o flaen Ptolemy ei hun: a'r Iuddewon yn dywedyd, mai, yn ol cyfraith Moses, yn Jerusalem yr oedd y deml i gael ei gwneuthur: a'r Samariaid yn haeru ei bod i'w hadeiladu ar fynydd Gerizzim. Dymunasant, gan hynny, ar y brenin gyd â'i gyfeillion, eistedd i wrando eu dadleuon ynghylch y matterion hyn; a chospi y rhai hynny a drechid â marwolaeth. Yn awr, Sabbeus a Theodosius a osodasant y rhesymmau ger bron tros y Samariaid; ac Andronicus mab Messalamus, tros bobl Jerusalem. A chymmerasant eu llwon wrth enw Duw, a'r brenin, i ddwyn eu tystiolaethau yn gyttunol â'r gyfraith. A dymunasant ar Ptolemy, pwy bynnag a ga'i yn troseddu yn erbyn yr hyn a dyngasant iddo, ar iddo ei roddi i farwolaeth. Yn ganlynol, y brenin a gymmerodd amryw o'i gyfeillion i'r cynghordy, ac a eisteddodd i lawr mewn trefn i wrando yr hyn a lefarai'r dadleuwyr. Yn awr, yr Iuddewon oedd yn Alexandria oeddynt tan ofal mawr am y gwŷr hynny, rhan pa rai oedd dadleu tros y deml yn Jerusalem: canys yr oeddynt yn ei gyfrif yn beth tra atgas fod neb yn cynnyg cymmeryd ymaith y parch a berthynai i'r deml honno, pa un ydoedd o'r fath hynafiaeth, a'r fath sôn am dani wedi myned trwy'r byd cyfanneddol. Yn awr, wedi i Sabbeus a Theodosius ganiattau i Andronicus lefaru yn gyntaf, efe a ddechreuodd ddangos, allan o'r gyfraith, ac oddiwrth ganlyniadau yr archoffeiriaid, y modd y darfu pob un o honynt yn ol-yn-ol oddiwrth eu tadau dderbyn yr anrhydedd hwnnw, a bod yn olygwyr ar y deml; ac fel y darfu i holl frenhinoedd Asia anrhydeddu y deml honno â'u hanrhegion, a'r rhoddion mwyaf godidog. Ond am yr un hynny yn Gerrizim nid oedd yn gwneud cyfrif o honi, nac yn ei olygu mwy na phe buasai heb fod erioed. Wrth yr araith hon, a rhesymmau eraill, Andronicus a berswadiodd y brenin i† benderfynu, fod y deml yn Jerusalem

* Gwel Hanes y Rhyf. Llyfr vii. pen. 10.

† Dadl dra annhêg ydoedd hon! pan oedd y dadleuwr Iuddewig yn gwybod na's gallai yn briodol brofi allan o'r Pentateuch, mai'r lle a ddewisasai yr Arglwydd eu Duw i osod ei enw ynddo, yr hyn a gyfeirir atto mor fynych yn llyfr Deuteronominm, ydoedd Jerusalem, mwy na Gerizzim; am fod hynny heb ei benderfynu hyd ddyddiau Dafydd: gwel VII. 13, ag sy'n unig yn profi yr hyn nid oedd y Samariaid yn ei wadu; fod y deml yn Jerusalem yn llawer mwy ei hynafiaeth; hefyd a berchid ac a anrhydeddid yn fwy na'r un hynny yn Gerizzim; yr hyn nid oedd ddim i'r pwrpas yn bresennol. Ac â'r holl dystiolaeth, wedi ei rwymo trwy lŵ gan bob un o'r pleidiau o fewn cylch cyfraith Moses, neu y Pentateuch yn unig. Pa fodd bynag, fel ag y darfu i gyfrwysdra bydol, hunan fantais, a'r lliaws oddiweddyd, y llys a roddodd y ddedryd, fel arferol, gyd â'r blaid gadarnaf; a Sabbeus a Theodosius, y dadleuwyr Samariaidd, a ferthyrwyd: a hynny, fel yr ymddengys, heb ddim gwrandawiad iddynt hwy oll. Yr hyn sydd debyg i arferol ymddygiad llysoedd gwladol ynghylch achosion crefydd. Ein copiau a ddywedant, fod corph yr Iuddewon tan ofal mawr ynghylch y dynion hyn, yn y rhif liosog, y rhai oedd mewn dadl tros eu teml yn Jerusalem; pan y mae yma yn ymddangos, nad oedd ganddynt ond un dadleuwr, Andronicus wrth ei enw. Ysgatfydd fod amryw wedi parottoi i lefaru ar du yr Iuddewon. Ond y cyntaf wedi atteb i'w enw, a gorchfygu y

wedi ei hadeiladu yn ol cyfraith Moses; ac felly a roddodd Sabbeus a Theodosius i farwolaeth. A dyma fel y digwyddodd i'r Iuddewon yn Alexandria yn nyddiau Ptolemy Philometor.

## PENNOD IV.

*Am yr anrhydedd a osodwyd ar Jonathan gan Alexander, brenin Assyria; ac am fatterion Demetrius, yr hwn yn ol hynny a wnaeth gyngrair o gyfeillgarwch â Jonathan.*

WEDI lladd Demetrius mewn brwydr, fel y crybwyllasom eisoes,* Alexander a gymmerodd feddiant o deyrnas Syria; ac a ysgrifennodd at Ptolemy Philometor, i ddymuno cael ei ferch yn wraig briodasol; canys efe a ddywedodd nad oedd ond cyfiawn iddo gael ei uno mewn perthynas ag un a dderbyniasai yn awr arglwyddiaeth ei dadau; ac wedi ei dderchafu iddi trwy ragluniaeth Duw; ac wedi gorchfygu Demetrius; ac yn un, ar gyfrifon eraill, nad oedd yn anheilwng o berthynas ag ef. Ptolemy a dderbyniodd y cynnygiad hwn yn llawen, ac a ysgrifennodd attebiad iddo; gan ei gyfarch o herwydd ei fod wedi derbyn teyrnas ei dadau; gan addaw ei ferch iddo mewn priodas; ac yr hebryngai hi cyn belled a Ptolemais; lle y dymunodd iddo ei gyfarfod ef. Wedi ysgrifennu o Ptolemy y modd hwn, efe a aeth ar fyrder i Ptolemais, gan ddwyn ei ferch Cleopatra gyd ag ef. Ac fel y cafodd Alexander yno o'i flaen, megis y dymunasai, efe a roddodd iddo ei ferch yn briod; ac yn gynnysgaeth iddi, o aur ac arian, gymmaint ag oedd yn gweddu ei roddi gan y fath frenin.

Pan aeth y briodas drosodd, Alexander a ysgrifennodd at Jonathan yr archoffeiriad, i ddymuno arno ddyfod i Ptolemais. Felly wedi ei ddyfod at y brenhinoedd hyn, a gwneud anrhegion ardderchog iddynt, efe a anrhydeddwyd gan bob un o honynt. Alexander hefyd a'i cymmellodd i ddiosg ei wisg ei hun, ac i gymmeryd gwisg o borphor, ac eistedd gyd ag ef ar ei orseddfaingc: gan orchymmyn i'w gadbeniaid ar iddynt fyned gyd ag ef i ganol y ddinas, a chyhoeddi na chaniattaed i neb ddywedyd i'w erbyn, neu beri dim aflonyddwch iddo. Ac wedi i'r cadbeniaid wneuthur fel hyn, y rhai a barottoasai i gyhuddo Jonathan, ac oedd a drwg-ewyllys iddo, pan welsant yr anrhydedd a wnaethid iddo trwy gyhoeddiad, a hynny o orchymmyn y brenin, hwy a redasant ymaith, ac oeddynt yn ofni rhag i ryw ddrygau eu goddiweddyd. Ië, y brenin Alexander oedd mor dirion wrth Jonathan, ag iddo ei osod ger bron fel y pennaf o'i gyfeillion. Ond ar y ganfed a phump a thrugain mlynedd, Demetrius, mab Demetrius, a ddaeth o Crete, gyd â rhyfedi mawr o filwyr cyflogedig, y rhai a ddug Lasthenes y Cretiad iddo ef; ac a fordwyodd i Cilicia. Hyn a barodd fawr ddychryn i Alexander pan glybu am dano. Felly efe a aeth ar frys allan o Phœnicia, ac a ddaeth i Antioch, fel y dodai bethau mewn cyflwr o ddiogelwch yno, cyn dyfodiad Demetrius. Efe hefyd a adawodd † Apollonius Daus yn llywodraethwr Cœlesyria, yr hwn wedi dyfod i Jamnai gyd â byddin fawr, a ddanfonodd at Jonathan yr archoffeiriad, gan ddywedyd wrtho, nad ydoedd iawn iddo ef yn unig drigo mewn diogelwch, a chyd ag awdurdod, heb fod yn ddeiliad i'r brenin: fod hyn yn ei wneuthur yn waradwydd ym mysg pawb, na ymostygasai ei hun etto i'r brenin. "Na thwylla dy hun gan hynny," eb efe, "gan eistedd yn llonydd ym mhlith y mynyddoedd, a honni fod gennyt luoedd gyd â thi. Ond os oes ryw hyder gennyt yn dy gadernid, tyred i lawr i'r gwastadedd, a chydmarer ein lluoedd ni â'u gilydd; a'r canlyniad o'r frwydr a ddengys pa un o honom sydd fwyaf ei wrolder. Pa fodd bynnag, cymmer sulw, fod y gwŷr cadarnaf o bob dinas yn fy myddin i. Ac mai y rhai hyn yw'r unig ddynion y rhai bob amser a orchfygasant dy deidiau. Ond gadawer i'n brwydr fod yn y fath ran o'r

Samariaid, nid oedd angenrhaid am un amddiffynnwr arall i'r deml yn Jerusalem. * Pen. II.

† Am yr amryw Apollonii ynghylch yr amserau hyn, gwel y Deon Prideaux, ynghylch y flwyddyn 148. Yr Apollonius hwn ydoedd, yn ol ei gyfrif ef, yn fab Apollonius, yr hwn a wnaethpwyd yn llywodraethwr Cœlesyria, a Phœnicia gan Seleucus Philopator; ac ydoedd ei hun yn ŵr o ymddiried i'w fab Demetrius, y tad; ac wedi ei adferyd i lywodraeth ei dad gan ddo ef; ond wedi hynny a drodd oddiwrtho ef at Alexander; ond nid at Demetrius y mab, fel y mae efe yn dychymmygu.

wlad, ag yr ymladdom ag arfau, ac nid â cherrig; ac na byddo unrhyw fan lle y gallo y rhai a gurrer ffoi iddo."

Hyn a gynnyrfodd Jonathan; ac wedi dethol allan ddeg mil o'i filwyr, efe a brysurodd i fyned o Jerusalem, gyd â'i frawd Simon, ac a ddaethant i Joppa, gan wersyllu y tu allan i'r ddinas, o herwydd i drigolion Joppa gauad eu pyrth yn ei erbyn. Canys yr oedd ganddynt wersyll yn y ddinas wedi ei gosod yno gan Apollonius. Ond pan oedd Jonathan yn parrottoi i warchae arnynt, yr oeddynt yn ofni y cymmerai y ddinas trwy drais; ac am hynny hwy a agorasant y pyrth iddo. Apollonius wedi clywed fod Joppa wedi ei chymmeryd gan Jonathan, a gymmerodd dair mil o farchogion, ac wyth mil o wŷr traed, ac a ddaeth i Ashdod: a chan ymsymmud oddi yno, efe a ymdeithiodd yn ddistaw ac yn arafaidd; efe a wnaeth megis pe buasai yn cilio o'r lle, ac felly a dynnodd Jonathan i'r gwastadedd: gan orphwys ei hyder yn fawr ar ei wŷr meirch, a gobeithio am fuddugoliaeth yn bennaf trwyddynt hwy. Pa fodd bynnag, Jonathan a ruthrodd allan, ac a erlidiodd Apollonius. Ond cyn gynted ag y canfu Apollonius fod ei elyn yn y gwastadedd, efe a ddychwelodd yn ol, ac a safodd i ymladd ag ef. Yn awr, Apollonius a osodasai fil o wŷr meirch mewn ymguddfa yn y dyffryn, fel y canfydder hwy gan eu gelynion o'r tu ol. Jonathan, pa fodd bynnag, ni fawr ddychrynwyd pan welodd hwynt: ond gan drefnu ei fyddin mewn sefyllfa bedair-ochrog, efe a archodd iddynt syrthio ar y gelyn bob ochr; gan eu gosod i wynebu'r rhai a'u goddiweddai o'r tu blaen ac o'r tu ol. A thra 'r oedd yr ymladdiad yn parhau hyd y prydnhawn, efe a osododd ran o'i luoedd tan ofal ei frawd Simon, gan erchi iddo ef orddiwes y gelynion: ond am dano ei hun, efe a orchymmynodd i'r rhai oedd gyd ag ef orchuddio eu hunain â'u harfogaeth wrth dderbyn saethau y marchogion.

Yn ganlynol, gwŷr meirch y gelynion, tra yr oeddynt yn taflu eu saethau, hyd nad oedd ganddynt ddim yngweddill, ni wnaethant niweid iddynt; canys y saethau a fwrid ni threiddiasant i'w cyrph, ond a ddisgynnant ar y tariannau oedd wedi eu huno a'u cyd-gyssylltu; agosrwydd pa rai i'w gilydd yn hawdd a attaliasant rym y saethau, y rhai a hedasant o amgylch yn ddieffaith. Ond pan flinodd y gelyn yn taflu eu saethau o'r borau hyd yn ddiweddar o'r nos; Simon a ganfu eu diffygiad, ac a syrthiodd ar y corph o ddynion o'i flaen. Ac o herwydd bod ei filwyr yn dangos bywiogrwydd mawr, efe a ddododd y gelynion i ffoi. A phan welodd y gwŷr meirch fod y gwŷr traed yn diangc ymaith, hwythau ni safasant eu hunain: ond a hwy yn dra blinedig o herwydd parhad yr ymladdfa hyd yr hwyr; ac â'u gobaith oddiwrth y gwŷr traed wedi ei gymmeryd ymaith, diangasant ymaith mewn modd gwaradwyddus, ac mewn annhrefn mawr hefyd, nes ymrannu y naill oddi wrth y llall, a'u gwasgaru dros yr holl wastadedd. Ar hyn Jonathan a'u herlidiodd cyn belled ag Ashdod, ac a laddodd amryw o honynt; ac a yrrodd y lleill, mewn anobaith o ddiangc, i ffoi i deml Dagon, yr hon oedd yn Ashdod. Ond Jonathan a gymmerodd y ddinas ar yr ymosodiad cyntaf, ac a'i llosgodd hi, a'r maesdrefi o'i hamgylch: ac nid ymarbedodd oddiwrth deml Dagon, ond a'i llosgodd hi hefyd, ac a ddifethodd y rhai a ffoasai iddi. Yn awr, holl liaws y gelynion y rhai a syrthiasant yn y frwydr, ac a ddifethwyd yn y deml, ydoedd wyth mil. Gan hynny, wedi i Jonathan orchfygu byddin mor liosog, efe a symmudodd o Ashdod, ac a ddaeth i Ascelon. Ac wedi gwersyllu o hono y tu allan i'r ddinas, gwŷr Ascelon a ddaethant allan i gyfarfod ag ef, gan ddwyn anrhegion yn haelionus iddo, a'i anrhydeddu ef. Felly fe fu dderbyniol ganddo eu hymddygiad, ac a ddychwelodd i Jerusalem, gyd â llawer iawn o ysglyfaeth, a ddygasai efe ymaith pan fuddugoliaethodd ar ei elynion. Ond pan glybu Alexander ddarfod i Apollonius, blaenor ei fyddin, gael ei guro ganddo, efe a gymmerodd arno ddangos ei foddlonrwydd; o herwydd ymladd o hono â Jonathan ei gyfaill a'i gyngreirwr, yn erbyn ei gyfarwyddyd iddo. Yn ganlynol, efe a anfonodd at Jonathan, gan ddwyn tystiolaeth i'w wroldeb, a rhoddi gwobrwyon anrhydeddus iddo, megis boglyn aur, yr hyn a arferid ei

anrhegu i garennydd y brenin:* ac a roddodd iddo Ecron, a'i hardal, yn etifeddiaeth iddo ei hun.

Ynghylch yr amser hwn y brenin Ptolemy, yr hwn a elwid Philometor, a arweiniodd fyddin, un rhan ar hyd y môr, a'r rhan arall ar dir, i Syria, er amddiffyn ei fab-ynghyfraith, Alexander: ac yn ganlynol yr holl ddinasoedd a'i derbyniasant yn ewyllysgar, fel y gorchymmynasai Alexander iddynt wneuthur; ac a'i tywysasant cyn belled ag Ashdod; ym mha le y gwnaethant oll achwynion uchel yn erbyn teml Dagon, yr hon a losgasid: gan gyhuddo Jonathan o'i dinystr hi, ac o ddifrodi'r wlad o amgylch â thân, a lladd nifer mawr o ddynion. Ptolemy a wrandawodd y cyhuddiadau hyn, ond heb ddywedyd dim. Jonathan hefyd a aeth i gyfarfod â Ptolemy cyn belled a Joppa; ac a dderbyniodd ganddo ef anrhegion haelionus, a'r rhai hynny o'r fath ardderchoccaf, gyd â phob arwyddion o anrhydedd. Ac wedi iddo ei hebrwng mor bell a'r afon a elwid Eleutheres, efe a ddychwelodd drachefn i Jerusalem.†

Ond fel ag yr oedd Ptolemy yn Ptolemais, bu yn dra agos i gael ei ddifetha. Canys amcan bradwriaethus a osodasid am ei fywyd gan Alexander, trwy offerynoldeb Ammonius, yr hwn oedd gyfaill iddo. Ac fel yr oedd y fradwriaeth yn dra amlwg, Ptolemy a ysgrifennodd at Alexander, ac a ofynnodd ganddo ddwyn Ammonius i gospedigaeth deilwng; gan hyspysu iddo pa ryw faglau a osodasid iddo gan Ammonius; gan ddymuno ei gospi ef yn ganlynol. Ond pan na chydsyniodd Alexander â'i ofyniadau, fe ganfu mai efe ei hun a osodasai yr amcan, ac yr oedd yn dra digllon wrtho.‡ Alexander hefyd a fuasai o'r blaen ar ammodau tra anghyttûn â phobl Antioch; canys hwy a ddioddefasant lawer trwyddo ef. Etto Ammonius o'r diwedd a aeth tan y gosp ag oedd ei drosedd yn ei haeddu, canys efe a laddwyd mewn modd gwarthus, megis gwraig, tra yr oedd yn ymdrechu i'w ddirgelu ei hun mewn gwisg fenywaidd.

Ar hyn Ptolemy a feiodd ei hun am roddi ei ferch yn briodas-wraig i Alexander; ac am y cyngrair a wnaethai ag ef i'w gynnorthwyo yn erbyn Demetrius. Felly efe a ryddhaodd ei hun oddiwrth ei berthynas iddo, trwy gymmeryd ymaith ei ferch; ac yn union-gyrch a ddanfonodd at Demetrius, gan gynnyg gwneud cyngrair o gyd-gynnorthwyad a chyfeillgarwch; gan gyttuno ar roddi ei ferch iddo mewn priodas, a'i adferyd i arglwyddiaeth ei dadau. Demetrius a fu dra boddlongar i'r gennadwri hon; gan wneud derbyniad o gynnygiad ei gynnorthwy, ac ymbriodi â'i ferch. Ond yr oedd gan Ptolemy un gorchwyl caled arall i'w gyflawni; a hynny oedd perswadio pobl Antioch i wneud derbyniad o Demetrius; am eu bod yn dra anfoddlon iddo, ar gyfrif y niweid a wnaethai ei dad iddynt hwy. Etto efe a ddygodd hyn o amgylch. Canys fel yr oedd pobl Antioch yn casâu Alexander, ar gyfrif Ammonius, fel y dangosasom eisoes, yr oedd yn hawdd eu perswadio i'w fwrw allan o Antioch. Efe yn ganlynol a aeth i Cilicia; tra 'r oedd Ptolemy yn dyfod i Antioch, ac a'i gwnaethpwyd yn frenin gan y trigolion, a chan y fyddin. Felly fe orfu arno wisgo dwy goronbleth; un dros Asia, a'r llall tros yr Aipht. Ond ag efe o naturiaeth yn ddyn da a chyfiawn, ac heb chwennych yr hyn a berthynai i eraill, ac heblaw y tueddiadau hyn, ag efe hefyd yn ddoeth i ymresymmu ynghylch pethau i ddyfod, efe a benderfynodd ochelyd eiddigedd y Rhufeiniaid. Felly efe a alwodd bobl Antioch ynghyd, ac a'u perswadiodd i wneud derbyniad o Demetrius; gan sicrhau iddynt, na chofiai efe yr hyn a wnaethant i'w dad, os ymrwyment yn awr iddo ef: ac efe a gymmerodd arno ei hun fod yn gynghorwr ac yn rhybuddiwr iddo; gan addaw na chaniattai wneuthur dim a fyddai yn ddrwg iddynt. Ond ei fod o'i ran ei hun yn foddlon ar deyrnas yr Aipht. Wrth yr ymddiddan hwn efe a ynnillodd bobl Antioch i wneud derbyniad o Demetrius.

Yn y cyfamser Alexander a gasglodd fyddin

* Dr. Hudson sydd yn sylwi yma, fod y Phœniciaid a'r Rhufeiniaid yn arferyd gwobrwyo'r cyfryw ag oedd yn haeddu daioni oddiar eu dwylaw, trwy eu hanrhegu â boglyn neu fottwm aur.

† 1 Maccab. xi. 7.

‡ Hyn a adroddir yn dra gwahaniaethol yn ein copiau o lyfr cyntaf y Maccabeaid.

liosog, ac a ddaeth allan o Cilicia i Syria; ac a losgodd y wlad berthynol i Antioch, ac a'i hyspeiliodd hi.* Ar ba achos Ptolemy a Demetrius ei fab-ynghyfraith, a ddygasant eu byddinoedd yn ei erbyn; (canys yr oedd efe eisoes wedi rhoddi ei ferch yn briod iddo;) a hwy a gurasant Alexander, ac a'i dodasant i ffoi: ac yn ganlynol efe a ffodd i Arabia. Yn awr, fe ddigwyddodd yn amser y frwydr, i farch Ptolemy, wrth glywed sŵn elephant, ei daflu i lawr ar y ddaear. Ar yr olwg o'r ddamwain hon, ei elynion a syrthiasant arno, ac a roddasant amryw ergydion iddo ar ei ben, ac a'i dygasant mewn perygl am ei fywyd: canys wedi ei gyfodi i fynu gan ei warchawdlu, yr ydoedd mor glaf ag y bu bedwar o ddiwrnodiau heb allu deall na llefaru. Pa fodd bynnag, Zabdiel, tywysog ym mysg yr Arabiaid, a dorrodd ymaith ben Alexander, ac a'i danfonodd i Ptolemy; yr hwn ag efe yn iachâu o'i glwyfau, ac yn dychwelyd i'w synhwyrau ar y pummed dydd, a glywodd am, ac a welodd ar unwaith yr hyn a allai roddi'r boddlonrwydd mwyaf iddo, sef clywed am farwolaeth Alexander, a gweled ei ben wedi ei ddwyn atto. Er hynny, ym mhen ychydig ar ol y llawenydd yma am farwolaeth Alexander, â'r hyn y boddhawyd ef mor fawr, efe hefyd a ymadawodd â'r bywyd hwn. Yn awr, Alexander, yr hwn a elwid Balas, a deyrnasodd ar Asia bum mlynedd.

Ond wedi i Demetrius, yr hwn a elwid† Nicator, gymmeryd meddiant o'r deyrnas, yr ydoedd mor ddrygionus a gwneuthur triniaeth galed â milwyr Ptolemy; heb goffa y cyngrair o gyd-gynnorthwyad oedd rhyngddynt; na'i fod yn fab-ynghyfraith a charennydd iddo trwy briodas a'i ferch Cleopatra. Felly y milwyr a ffoisant o tan ei awdurdod greulon i Alexandria. Ond Demetrius a gadwodd ei elephantiaid. Yn y cyfamser, Jonathan yr archoffeiriad a gyfododd fyddin trwy holl Judea, ac a ymosododd ar y tŵr yn Jerusalem, gan warchae arno. Yr oedd yn cael ei gadw gan wersyll o'r Macedoniaid; a chan nifer o rai drygionus a ymadawsant â defodau eu hynafiaid. Y gwŷr hyn ar y dechreu a ddirmygasant gynnygion Jonathan i gymmeryd y lle, gan hyderu ar ei gadernid: ond rhai o'r nifer ddrygionus a aethant allan yn y nos, ac a ddaethant at Demetrius, ac a fynegasant iddo fod y tŵr tan warchaedigaeth. Efe yn ganlynol a gythruddwyd wrth yr hyn a glywodd; ac efe a gymmerodd ei fyddin, ac a gychwynnodd o Antioch yn erbyn Jonathan. A phan oedd yn Antioch, efe a ysgrifennodd atto, ac a orchymmynodd iddo ddyfod atto ef yn ebrwydd i Ptolemais. Ni attaliodd Jonathan er hyn warchaedigaeth y tŵr: ond efe a gymmerodd gyd ag ef henuriaid y bobl, a'r offeiriaid; gan ddwyn aur, ac arian, a gwisgoedd, a rhifedi mawr o anrhegion yn arwydd o gyfeillgarwch, ac efe a ddaeth at Demetrius, ac a'i hanrhegodd â hwynt, trwy'r hyn y llonyddodd ddigter y brenin. Felly efe a anrhydeddwyd ganddo, ac a dderbyniodd gadarnhâd o'i archoffeiriadaeth, fel y cawsai feddiant o honi gan ei ragflaenorol frenhinoedd. A phan gyhuddodd y ffoaduriaid Iuddewig ef, Demetrius ydoedd mor bell oddiwrth roddi crediniaeth iddynt, fel pan osododd Jonathan ddeisyfiad o'i flaen na ofynnai ychwaneg na thri chan talent yn deyrnged tros holl Judea, a'r tair talaith o Samaria, Perea, a Galilea: efe a gydsyniodd â'r cynnygiad, ac a roddodd iddo lythyr yn cadarnhau yr ammodau hynny; cynnwysiad pa un sydd fel y canlyn:—

* "Y Brenin Demetrius at Jonathan ei frawd, a'r genedl Iuddewig, yn anfon annerch: Nyni a anfonasom i chwi gopi o'r llythyr hwnnw a ysgrifenasom at Lasthenes, ein câr; fel y gwypoch ei gynnwysiad :---

* Bl. 145 C. C.

† Yr enw hwn Demetrius Nicator, neu Demetrius y gorchfygwr, a argraphir felly ar ei arian sydd i'w gweled etto, fel ag y mae Hudson a Spanheim yn tystio i ni: y diweddaf o ba rai sydd yn traddodi i ni yma yr argraph yn gyflawn: "Y Brenin Demetrius, y duw, Philadelphus, Nicator.

‡ Dr. Hudson sydd yn sylwi yma, fod Josephus yn traddodi i ni yr epistol yma oddiwrth y brenin Demetrius, mewn purach Groeg-iaith, nac awdwr llyfr cyntaf y Maccabeaid; lle hefyd y mae tan gadwraeth.

1 Maccab. xi. 30--37. Oddiwrth yr hyn y mae'n casglu, mor ofalus oedd Josephus am gywreinrwydd yn yr iaith Roeg. Ac nid yw hyn amgen na dull arferol Josephus, yn chwilio allan dystiolaethau hynafol. Pa fodd bynnag, yr wyf fi yn cymmeryd, mai y rheswm pennaf o'r gwahaniaeth ym mhurdeb y ddau gyfieithiad o'r epistol hwn, yw'r hyn a ganlyn: ddarfod i Josephus ysgrifennu yn yr Attic buraf; a chyfieithydd y cyntaf o'r Maccabeaid yn null garwaf y briodol-iaith Hellenistaidd: yr hyn yn naturiol a barai yr anghysondeb hwn.

"Y Brenin Demetrius at Lasthenes ein tad, yn anfon annerch. Myfi a benderfynais ddychwelyd diolch, a dangos ffafr i genedl yr Iuddewon, y rhai a ddilynasant rëol cyfiawnder mewn perthynas i ni. Yn ganlynol, yr wyf yn adferyd iddynt y tair llywodraethau hyn,---Apherima, Lyda, a Ramatha; y rhai a chwanegid oddiwrth Samaria at Judea, gyd â'r mannau perthynol. Ac hefyd yr hyn a dderbyniai y brenhinoedd, fy mlaenoriaid, oddiwrth y rhai a offrymment aberthau yn Jerusalem; a'r hyn a ddigwydd oddiwrth ffrwyth y ddaear, a'r prennau, a pha beth bynnag arall a berthynai i ni; yngbyd a'r cloddiau halen, a'r coronau a aurhegid i ni. Ac ni chymmellir hwy i dalu dim o'r trethoedd uchod, o'r pryd hwn hyd amser i ddyfod. Gofelwch, gan hynny, am gymmeryd copi o'r epistol hwn, sydd wedi ei roddi at Jonathan; a'i osod i fynu yn y lle godidoccaf o'u Teml sanctaidd."

Yn awr, pan welodd Demetrius fod heddwch wedi ei sefydlu ym mhob lle, ac nad oedd dim perygl neu arswyd oblegid rhyfel; efe a ollyngodd yn rhydd y rhan fwyaf o'i fyddin, ac a leihaodd eu taliadau: ac ni chadwodd ar gyflog ond ychydig o'r fath ddieithriaid ag a ddaethai i fynu gyd ag ef o Crete, ac o'r ynysoedd eraill. Pa fodd bynnag, fe barodd hyn ddrwgewyllys iddo, a chasineb gan y milwyr, i ba rai ni chyfrannodd ddim ar ol y pryd hwn: pan oedd y brenhinoedd o'i flaen yn arferol a thalu iddynt yn amser heddwch, megis o'r blaen: fel y cynnalient eu hewyllys da, ac fel y byddent barod i fyned dan beryglon rhyfel, os byddai achos yn gofyn.

## PENNOD V.

*Am wrthdröad Trypho, yr hwn, wedi iddo orchfygu Demetrius, a draddododd y deyrnas i Antiochus, mab Alexander; ac a ynnillodd Jonathan yn gynnorthwywr iddo. Ac ymherthynas i weithredoedd a chennadwriaethau Jonathan.*

YN awr, yr ydoedd rhyw lywydd perthynol i fyddinoedd Alexander, o Apamia wrth enedigaeth. Ei enw ydoedd Diodotus; ond efe a elwid hefyd Trypho. Y gwr hwn a ddaliodd sulw ar ddrwg-ewyllys y milwyr tu ag at Demetrius; ac a aeth ymaith at Macchus yr Arabiad; yr hwn a ddygodd i fynu Antiochus, mab Alexander: ac a fynegodd iddo am y drwg-ewyllys a gynnwysai y byddinoedd tu ag at Demetrius: gan ei berswadio i roddi atto ef Antiochus, o herwydd y gwnai ef yn frenin; ac yr adferai iddo deyrnas ei dad. Macchus ar y cyntaf a'i gwrthwynebodd, o herwydd na's gallai ei gredu ef: ond Trypho a'i goruwch-berswadiodd ef i gydsynio â'i fwriad, ac â'i ddeisyfiadau.

Ond a Jonathan yr archoffeiriad, yn ewyllysio ymadawiad y rhai oedd yn nhŵr Jerusalem, gyd â'r ffoaduriaid Iuddewig a drwg-ddynion, yn gystal a'r rhai oedd yn yr amddiffynfeydd yn y wlad, a ddanfonodd anrhegion a chennadwyr at Demetrius; gan ddeisyfu arno gymmeryd ei filwyr ymaith o'r holl leoedd cedyrn yn Judea. Demetrius a wnaeth attebiad, mai ar ol y rhyfel, ym mha un yr oedd yn awr yn hollol rwym, y caniattäi hynny iddo, a phethau mwy hefyd. Ac efe a ddymunodd arno ddanfon iddo beth cynnorthwy, gan hyspysu fod ei fyddin wedi ei adael ef. Felly Jonathan a ddetholodd allan dair mil o filwyr, ac a'u danfonodd i Demetrius.

Yn awr, yr oedd pobl Antioch yn casâu Demetrius, ar gyfrif y drygau a wnaethai ei hun iddynt; ac am eu bod yn elyniaethol iddo hefyd o herwydd ei dad Demetrius, yr hwn a'u hammharchasai yn fawr. Felly hwy a wyliasant am ryw gyfleusdra a allent afaelu ynddo i syrthio arno ef. Ac wedi eu gwneud yn hyspys o'r cynnorthwy oedd yn dyfod i Demetrius oddiwrth Jonathan; ac yn ystyried yr un amser y cyfodai fyddin liosog oddieithr iddynt ei ragflaenu, a'i orddiwes ef; hwy a ymarfogasant yn union-gyrch, ac a amgylchynasant y palas mewn ffordd o gynllwyn: a chan oresgyn pob lle o fynediad allan, hwy a geisiasant ddarostwng eu brenin. Ac wedi canfod pobl Antioch yn troi yn chwerw elynion iddo, a'u bod tan arfau; efe a gymmerodd y milwyr cyflogedig oedd gyd ag ef, a'r Iuddewon hynny a ddanfonasid gan Jonathan, ac a ruthrodd ar yr Antiochiaid. Ond efe a orfuwyd gan amldra nifer, ac a gurwyd. Ond pan welodd yr Iuddewon fod yr Antiochiaid yn

drechaf, hwy a aethant i fynu ar nenn y palas, ac a saethasant attynt oddi yno. Ac o herwydd eu bod mor bell oddiwrthynt gan eu huchder, fel na oddefasant ddim o'u tu eu hunain, ond a wnaethant ddifrod mawr ym mysg y lleill, megis yn ymladd oddiar y fath uchder: hwy a yrrasant y trigolion allan o'r tai cyssylltiedig yno, ac yn ebrwydd a'u dodasant ar dân: yr hwn a ymdanodd tros yr holl ddinas, ac a'i llosgodd i lawr. Hyn a ddigwyddodd o herwydd agosrwydd y tai i'w gilydd, a'u hadeiladu yn fwyaf cyffredin o goed. Felly yr Antiochiaid, pan na allent gynnorthwyo eu hunain, nac attal y tân, a ddodwyd ar ffoedigaeth.

Ac fel yr oedd yr Iuddewon yn llammu o ben y naill dŷ i'r llall, ac yn eu herlid y modd hwnnw; digwyddodd fod y pryd hynny yr erledigaeth yn dra dinystriol. Ond pan ganfu'r brenin yr Antiochiaid yn prysuro i achub eu plant a'u gwragedd, ac felly heb ymladd yn hwy, efe a ruthrodd arnynt yn yr heolydd cyfyng, gan ymladd a lladd llaweroedd, nes gorfod o honynt o'r diwedd daflu eu harfau i lawr, a rhoddi eu hunain i fynu i Demetrius: felly efe a faddeuodd iddynt eu hymddygiad gwrthryfelgar, ac a roddodd ddiwedd ar yr ymryson. Ac wedi iddo wobrwyo'r Iuddewon o'r yspail gyfoethog a gawsai; a dychwelyd iddynt ddiolch fel yr achos o'i fuddugoliaeth, efe a'u hanfonodd ymaith i Jerusalem, at Jonathan, gyd â thystiolaeth ddigonol o'r cynnorthwyad a wnaethent iddo. Etto efe a brofodd yn anffyddlon i Jonathan ar ol hynny, trwy dorri'r addewidion a wnaethai: ac efe a fygythiodd fyned i ryfel ag ef, oddigerth iddo dalu yr holl deyrnged honno a arferai cenedl yr Iuddewon ei thalu i frenhinoedd cyntaf Syria. A hyn a wnaethai pe na fuasai i Trypho ei luddias ef, a throi ei barottoadau yn erbyn Jonathan, i ofal am ei ddiogelwch ei hun. Canys efe yn awr a ddychwelodd o Arabia i Syria, gyd â'r plentyn Antiochus, yr hwn nid oedd etto ond ieuangc mewn oedran; ac efe a osododd y goron-bleth ar ei ben. Ac fel y daeth yr holl luoedd a adawsent Demetrius, ar gyfrif eu bod heb dderbyn taliadau ganddo, yn gynnorthwy iddo, efe a wnaeth ryfel yn erbyn Demetrius; ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr, efe a'i gorchfygodd yn yr ymladdfa; ac a gymmerodd oddi arno ei elephantiaid, a dinas Antioch hefyd.

Ar hyn Demetrius a giliodd ymaith i Cilicia; ond y plentyn Antiochus a ddanfonodd gennadwyr, gyd ag epistol at Jonathan, i'w wneuthur yn gyfaill ac yn gyngreirwr iddo: gan gadarnhau iddo yr archoffeiriadaeth, a rhoddi i fynu y pedair talaith cyssylltedig â Judea. Ymhellach, efe a ddanfonodd iddo lestri aur, a gwisg borphor, gan roddi cennad i wneuthur defnydd o honynt. Efe hefyd a'i hanrhegodd â boglyn aur, gan ei alw yn un o'i brif gyfeillion: ac a appwyntiodd ei frawd Simon yn flaenor ei luoedd, o esgynfa Tyre hyd yr Aipht. Felly Jonathan a foddhawyd gymmaint â'r anrhegion, ac â'r caniattâd hyn gan Antiochus, fel yr anfonodd gennadwyr atto, ac at Trypho, gan broffesu ei hun yn gyfaill ac yn gyngreirwr: ac efe a ddywedodd yr unai â hwynt mewn rhyfel yn erbyn Demetrius; ac am na wnaethai ddychweliad dyledus yn ol o'r caredigrwydd a ddangosasai iddo; ond yn y gwrthwyneb am y fath gymmwynas, efe a gynnygiodd ei niweidio.

Felly Antiochus a roddes ganiattâd i Jonathan gyfodi byddin liosog allan o Syria a Phœnicia; a gwneud rhyfel â blaenoriaid byddinoedd Demetrius. Ar hyn yr aeth gyd â brys i'r amrywiol ddinasoedd, y rhai a'i derbyniasant yn anrhydeddus yn wir; ond ni roisant ddim byddinoedd tan ei law. Ac wedi ei ddyfod oddiyno i Ascelon, preswylwyr Ascelon a ddaethant ac a ddygasant iddo anrhegion; gan ei gyfarfod mewn modd ardderchog. Efe a'u cynghorodd hwynt, a phob un o ddinasyddion Cœlesyria, i ymwrthod â Demetrius, ac uno ag Antiochus: ac i ymdrechu i gospi Demetrius, am y cyfryw droseddiadau ag a fuasai yn euog o honynt yn eu plith eu hunain: gan ddywedyd fod amrywiol resymmau am hynny, os oedd ganddynt ewyllys i'w wneuthur. Ac wedi iddo ynnill y dinasoedd hynny i addaw eu cynnorthwy i Antiochus, efe a ddaeth i Gaza, mewn trefn i'w denu hwynt hefyd i fod o du Antiochus. Ond efe a gafodd fod trigolion Gaza yn llawer mwy estronol iddo nag y disgwyliodd: canys hwy a

gauasent eu pyrth yn ei erbyn: ac er eu bod wedi gadaw Demetrius, ni ymroisant i uno eu hunain ag Antiochus. Hyn a gynnyrfodd Jonathan i osod cynllwyn i'w herbyn, ac anrheithio eu gwlad. Canys efe a osododd ran o'i fyddin o amgylch Gaza ei hun; ac â'r rhan arall efe a ddifrododd eu gwlad, gan ei hyspeilio, a llosgi yr hyn oedd o'i mewn.* Pan welodd trigolion Gaza eu hunain yn yr amgylchiad gofidus hwn, ac na ddaethai dim cynnorthwy iddynt oddiwrth Demetrius: a bod yr hyn a'u colledai ger llaw; ond yr hyn a'u hachubai etto ym mhell oddiwrthynt; ac yn ansicr pa un a ddeuai oll neu beidio; meddyliasant fod yn gallach iddynt roddi heibio barhau yn hwy gyd ag ef, a llunio ammodau o gymdeithasrwydd â'r llall. Felly hwy a ddanfonasant at Jonathan, gan addaw bod yn gyfeillgar ag ef, yn gystal a chynnorthwywyr hefyd. Canys y fath yw tymherau dynion, cyn cael prawf o flinderau mawrion, ni chydnabyddant yr hyn a fyddo er eu mantais: ond pan deimlont eu hunain tan y fath drallodion, yna y maent yn cyfnewid eu meddyliau: yr hyn pe gwnaethent o'r blaen cyn dioddef oll, y maent yn awr yn dewis ei wneuthur, ond cyn iddynt orfod dioddef y fath drallodion. Pa fodd bynnag, efe a wnaeth gyngrair o gymdeithasrwydd â hwynt; ac a gymmerodd rai o honynt yn wystlon o'i gyflawniad; ac a ddanfonodd y rhai hynny i Jerusalem; tra'r aeth efe ei hun tros yr holl wlad cyn belled a Damascus.

Yn awr, blaenoriaid byddinoedd Demetrius a ddaethant i'r ddinas Cadesh, rhwng gwlad y Tyriaid a Galilea. Canys hwy a feddyliasant wrth hynny dynnu Jonathan allan o Syria, mewn trefn i achub Galilea: ac na edrychai efe heibio i'r Galileaid, y rhai oeddynt ei bobl ei hun, pan wnaed rhyfel â hwynt. Ond Jonathan a aeth i'w cyfarfod hwynt, wedi gadael o hono Simon yn Judea: yr hwn a gododd fyddin mor liosog ag a fedrai allan o'r wlad; ac yna a warchäodd ar Bethsura; oblegid mai hwnnw oedd y lle cadarnaf yn Judea, a gwersyll berthynol i Demetrius, fel y crybwyllasom o'r blaen.† Ond fel yr oedd yn cyfodi gwrthgloddiau, ac yn dwyn ei beiriannau rhyfel yn erbyn Bethsura, ac yn dra phrysur ynghylch y cynllwyn, y gwersyllwyr a ofnasant rhag cymmeryd o hono y lle trwy drais, a hwythau gael eu lladd â'r cleddyf. Felly hwy a ddanfonasant at Simon, gan ddymuno sicrwydd ei lŵ, na ddygid hwy i ychwaneg o berygl ganddo; ac yna hwy a roddent y lle i fynu, fel yr elent at Demetrius. Yn ganlynol efe a roddes ei lŵ iddynt, ac a'u bwriodd allan o'r ddinas, gan osod yno wersyll o'i eiddo ei hun.

Ond Jonathan a symmudodd allan o Galilea, ac oddiwrth y dyfroedd a elwid Gennesar, (canys yno yr oedd o'r blaen yn gwersyllu;) ac a ddaeth i'r dyffryn a elwid Asor, heb wybod fod y gelyn yno. Gan hynny, pan wybu gwŷr Demetrius, ym mlaenllaw, fod Jonathan yn dyfod yn eu herbyn, hwy a osodasant gynllwyn yn y mynydd, fel y rhuthrent yn fyrbwyll arno; tra y cyfarfyddent hwy ag ef eu hunain â byddin yn y gwastadedd. Yr hon fyddin pan ganfu Jonathan hi yn barod i ymladd ag ef, efe hefyd a geisiodd barottoi ei filwyr ei hun i'r frwydr mor drefnus ag a allai. Ond a'r rhai a osodasid i gynllwyn gan flaenoriaid byddin Demetrius y tu ol iddynt, yr Iuddewon a ofnasant rhag eu dal yn y canol rhwng dau gorph o ddynion, ac yn y modd hwnnw cael eu difetha. Felly hwy a ffoisant ymaith gyd â brys: ac yn wir yr holl luoedd a adawsant Jonathan, oddigerth deg a deugain a arosasant gyd ag ef: ac o honynt hwy yr oedd Mattathias mab Absalom, a Judas mab Chapseus, y rhai oedd flaenoriaid yr holl fyddin. Y rhai hyn a gerddasant yn hŷf, ac fel dynion calonnog yn erbyn y gelyn; ac a bwysasant felly arnynt fel y digalonnwyd hwynt; a chyd â'u harfau yn eu dwylaw, hwy a'u dodasant i ffoi. A phan welodd y milwyr hynny a giliasant o'r eiddo Jonathan, fod y gelyn yn rhoddi lle, hwy a gyd-gasglasant eu hunain ar eu ffoedigaeth, ac a'u herlidiasant gyd ag awchlymdra mawr. A hyn a wnaethant mor bell a Cadesh, ym mha le yr oedd y gelyn yn gorwedd.‡

Jonathan fel hyn, wedi ynnill buddugoliaeth ogoneddus, a lladd dwy fil o'r gelynion, a ddych-

* 1 Maccab. xi. 61.

† Pen. 11.

‡ 1 Maccab. xi. 73.

welodd i Jerusalem. Felly pan welodd ei holl achosion yn llwyddo, yn ol ei feddwl, trwy ragluniaeth Duw, efe a ddanfonodd gennadwyr at y Rhufeiniaid; gan ewyllysio adnewyddu y cymdeithasrwydd hynny â hwynt, a fuasai rhyngddynt * o'r blaen â'u cenedl. Ac efe a orchymmynodd i'r unrhyw gennadwyr, ar eu dychweliad yn ol, i fyned at y Spartiaid; a'u hadgoffa hwynt am eu cyfeillgarwch a'u carennydd. Felly pan ddaeth y cennadwyr i Rufain, hwy a aethant i mewn i'r senedd, gan adrodd yr hyn a orchymmynasid iddynt oddiwrth Jonathan yr archoffeiriad, y modd yr anfonasai hwynt i adnewyddu eu cymdeithasrwydd. Yna y senedd a gadarnhasant yr hyn a orchymmynasid o'r blaen ymherthynas i'w cymdeithasiad â'r Iuddewon: gan roddi llythyrau iddynt i'w dwyn gyd â hwynt at holl frenhinoedd Asia ac Ewrop, ac at lywodraethwyr y dinasoedd; fel y cyfarwyddent hwy i fyned mewn diogelwch i'w gwlad eu hunain. Yn ganlynol, fel yr oeddynt yn dychwelyd, hwy a ddaethant i Sparta, ac a roddasant yr epistol a dderbyniasant gan Jonathan, iddynt hwy. Transgrif o ba un sydd fel y canlyn:

"Jonathan, archoffeiriad y genedl Iuddewig, a'r senedd, a chorph pobl yr Iuddewon, at yr Ephori, a'r senedd, a phobl y Lacedæmoniaid, yn anfon annerch. Os ydych mewn iechyd, a'ch achosion cyhoedd a neillduol yn gyttunol â'ch meddyliau, da ydyw gennym. Yr ydym ninnau yn iach hefyd. Pan mewn amser gynt † y dygwyd epistol oddiwrth Areus, yr hwn y pryd hynny oedd eich brenin, gan Demoteles, at Onias ein harchoffeiriad, ymherthynas i'r carennydd oedd rhyngom â chwi; copi o ba un sydd yma yn gynnwysedig. Yr oedd yn llawen gennym dderbyn eich epistol hynny, ac yn cael ein boddhau yn Demoteles ac Areus: er nad oedd angenrhaid i ni am y fath eglurhad, am ein bod yn cael ‡ ein boddloni yn ei gylch allan o'r ysgrifenadau cyssegredig. Etto ni thybiasom yn gymmwys ein hunain ddechreu cleimio ein perthynas hwn â chwi: rhag ymddangos o honom yn rhy gynharol yn cymmeryd anrhydedd i ni ein hunain, ag a roddir i ni yn awr gennych chwi. Y mae'n hir amser er pan adnewyddwyd ein perthynas hwn â chwi: a phan ydym ni ar ddyddiau gŵylion a sanctaidd yn offrymmu aberthau i Dduw, yr ydym yn gweddio atto am eich cadwedigaeth a'ch amddiffyniad chwi. Ymherthynas i ni ein hunain, er cael o honom lawer o ryfeloedd o'n hamgylch, trwy drachwant ein cymmydogion; etto ni chwennychasom eich blino chwi, nac eraill o berthynas i ni. Ond gan ein bod yn awr wedi gorchfygu ein gelynion; ac a chennym achosion i ddanfon Numenius, fab Antiochus; ac Antipater, mab Jason; y rhai ydynt bob un wŷr anrhydeddus, yn perthynu i'n senedd, at y Rhufeiniaid; nyni a roddasom gyd â hwynt yr epistol hwn attoch chwithau hefyd: fel y byddai iddynt hwy adnewyddu y cyfeillgarwch sydd rhyngom. Chwi wnewch yn dda, gan hynny, ysgrifennu attom; a rhoddi cyfrif o'r hyn a ydych yn sefyll mewn diffyg o hono gennym; gan ein bod ni ym mhob peth yn barod i wneuthur yr hyn a fyddoch yn ei ewyllysio." Felly y Lacedæmoniaid a dderbyniasant y cennadau yn garedig; ac a wnaethant gyfammod o gyfeillgarwch a chyd-amddiffyniad, ac a'i hanfonasant i'r Iuddewon.

Ar yr amser hwn yr oedd tair o sectau ym mysg yr Iuddewon, y rhai oedd â gwahanol dybiau ganddynt ymherthynas i weithrediadau dynol. Un a elwid sect y Phariseaid; un arall yn sect y Saduceaid; a'r llall yn sect yr Esseniaid. Yn awr y § Phariseaid a ddywedant, fod rhai gweithredoedd, ond nid y cwbl, o dyng-

* Gwel Llyfr xii. pen. 10. † Gwel Llyfr xii. pen. 4.

‡ Y byrr ymadrodd hwn a adroddir yn amgen yn llyfr cyntaf y Macbeaid, xii. 9. "Oblegid fod gennym lyfrau cyssegredig yr ysgrythyr yn ein dwylaw i'n cyssuro ni." Gan fod yr Hebraeg wreiddiol yma wedi ei cholli, ni allwn farnu yn sicr pa un oedd y cyfieithiad cywiraf: ond yn unig fod y cyssylltiad yn ffafro Josephus. Ond os hyn oedd meddwl yr Iuddewon, eu bod yn cael boddlonrwydd o'u Bibl, fod yr Iuddewon a'r Lacedæmoniaid yn garennydd, y rhan honno o'u Bibl sydd yn awr yngholl; canys nid ydym yn cael y cyfryw hanes yn ein copiau presennol.

§ Y rhai ag a feddyliant fod Josephus yn gwrthwynebu ei hun, yn ei ddescrifiad o dair gwahanol sectau; y Phariseaid, yr Esseniaid, a'r Saduceaid,---gwel Hanes y Rhyf. II. 8. a'r Hynaf. XVIII, 1. fel pe byddai weithiau yn dywedyd, eu bod yn arddel tynghedfen ddiammodol, ac yn gwadu rhydd-did gweithrediadau dynol, sydd agos yn hollol ddisail. Y mae efe bob amser (fel y mae y dysgedig Casaubon yn sylwi yma) yn sicrhau fod y Phariseaid rhwng yr Esseniaid a'r Saduceaid; ac oeddynt yn cyfrif pethau mor bell i dynghedfen neu ddwyfol ragluniaeth, ag oedd gydsam â rhydd-did gweithrediadau dynol. Pa fodd bynnag, eu ffordd ddyryslyd o lefaru ynghylch tynghedfen neu ragluniaeth, megis yn goruwch lywodraethu pob peth, a barodd feddwl yn gyffredin eu bod

hedfen; a rhai ydynt o'n galluoedd ein hunain; a'u bod yn ddarostyngol i dynghedfen, ond heb darddu oddiwrthi. Ond sect yr Esseniaid a gadarnhant, fod tynghedfen, neu ddigwyddiad rhagderfynedig, yn llywodraethu pob peth; ac na ddigwydd dim i ddynion ond sydd o flaenorol benderfyniad. Ac am y Saduceaid, hwy a ddywedant nad oes y fath beth a thynghedfen; ac nad yw canlyniadau achosion dynol wrth ei drefniad: ond eu meddwl hwy yw, fod ein holl weithredoedd tan ein llywodraeth ein hunain; fel ag yr ydym ein hunain yn achos o'r hyn sydd dda, ac yn derbyn yr hyn sydd ddrwg oddiwrth ein hynfydrwydd ein hunain. Pa fodd bynnag, mi roddais hanes gywir am y barnau hyn yn ail lyfr rhyfeloedd yr Iuddewon.

Yn awr, fel yr oedd blaenoriaid byddin Demetrius yn ewyllysio adferyd y golled a gawsent, hwy a gasglasant ynghyd liosoccach byddin nac o'r blaen, ac a ddaethant yn erbyn Jonathan. Ond cyn gynted ag y gwybu ef am eu dyfodiad, fe aeth yn ebrwydd i'w cyfarfod i wlad Hamath. Canys efe a fwriadodd na roddai ddim hamdden iddynt i ddyfod i Judea. Felly efe a wersyllodd ynghylch deg a deugain o 'stadau oddiwrth y gelyn; ac a anfonodd yspiwyr allan i olygu eu gwersyll, ac i wybod pa ddull yr oeddynt yn gwersyllu. Wedi i'w yspiwyr roddi iddo gyflawn hyspysrwydd, a gorddiwes rhai o honynt yn y nos, y rhai a ddywedasant y goresgynnid hwynt yn fuan gan y gelynion; efe a ymbarottodd i'w ddiogelu ei hun, ac a osododd wylwyr y tu ol i'w wersyll, ac a gadwodd ei luoedd tan arfau tros yr holl nos. Ac efe a orchymmynodd iddynt fod yn ddewrwych, â'u meddyliau mewn parodrwydd i fyned i ymladd yn y nos, os gorfyddai arnynt, rhag ymddangos o fwriadau eu gelynion yn anhyspys iddynt. Ond wedi amlygu i flaenoriaid Demetrius fod Jonathan yn gwybod am eu hamcanion, eu cyngoriadau a ddyryswyd; ac yr ydoedd yn ddychryndod iddynt fod y gelyn yn deall yr hyn yr oeddynt yn cyrchu atto. Ac nid oeddynt yn disgwyl eu gorchfygu un ffordd arall, yn awr wedi eu haflwyddo yn y maglau a fwriadasent iddynt. Canys os anturient fyned i frwydr gyhoeddus, ni thybiasant y byddent gyfartal i fyddin Jonathan: felly hwy a ymroisant i ffoi. Ac wedi cynneu amryw danau, fel pan welai'r gelyn hwynt y gallent feddwl eu bod yno; etto, hwy a aethant ymaith. Ond wedi dyfod Jonathan i fyned i frwydr â hwynt yn y bore, a chael eu gwersyll yn wâg, a deall eu bod wedi ffoi, efe a'u herlidiodd hwynt. Etto ni allai eu goddiweddyd, canys yr oeddynt wedi myned tros yr afon Eleutherus; ac allan o berygl. Felly pan ddychwelodd Jonathan ymaith, efe a aeth i Arabia, ac a ymladdodd yn erbyn y * Nabateaid; ac a gymmerodd ymaith lawer o'u hysglyfaeth, a llawer yn gaethion o honynt; ac wedi hynny a ddaeth i Damascus, ac a werthodd ymaith yno yr hyn a gymmerasai. Ynghylch yr un amser y bu i'w frawd Simon fyned tros holl Judea, a Phalestina, cyn belled ag Ascelon; gan gryfhau yr amddiffynfeydd cedyrn: ac wedi eu gwneuthur yn dra chadarn ymherthynas i'w hadeilad, a'r gwersylloedd a osododd ynddynt, efe a ddaeth i Joppa: ac wedi ei chymmeryd hi, efe a ddug wersylliad mawr o filwyr iddi. Canys efe a glybu fod pobl Joppa yn dueddol i roddi i fynu y ddinas i flaenoriaid byddin Demetrius.

Wedi i Simon a Jonathan orphen y matterion hyn, hwy a ddychwelasant i Jerusalem. Yno Jonathan a gasglodd yr holl bobl ynghyd, i ymgynghori ynghylch adferyd muriau Jerusalem; ac ail-adeiladu y mur oedd yn amgylchynu'r deml, yr hwn a fwriasid i lawr; ac i wneud y

---

yn ewyllysio esgusodi eu pechodau, gan eu cyfrif hwynt i dynghedfen; fel y mae yn y Gosodiadau Apostolaidd, VI. 6. a Jerom Advers. Pelag. 10. Ysgatfydd tan yr un cyffredin enw, rhai gwahanol dybiau a allai dyfu yn y pwngc yma, fel y mae'n arferol gyd â phob pleidiau; yn enwedig mewn pyngciau manwl goruwch natuiol. Pa fodd bynnag, ein Josephus, yr hwn yn ei galon oedd yn mawr barchu duwioldeb yr Esseniaid, ydoedd yn ei ymarferiad yn Pharisead, fel y mae yn hyspysu i ni yn hanes ei fywyd ei hun. A'i gyfrif am yr athrawiaeth hon o eiddo y Phariseaid sydd yn sicr yn gyttunol â'i farn ei hun: yr hwn bob amser oedd yn cyflawn ganiattau rhyddid gweithrediadau dynol; ac etto yn eadarn gredu am nerthol gyfryngiad dwyfol raglawiaeth. Gwel ymherthynas i'r matter hwn nodedig fyrr ymadrodd, Hynaf. XVI. 11.

* Gan fod y Nabateaid Arabaidd yn awr mewn ymheddychiad â'r Iuddewon, Pen. I. ysgatfydd mai'r darlleniad yn 1 Macc. xii. 31. a all fod gywiraf; lle y gelwir y bobl Zabateaid. Os amgen tybiau Grotius, a osodwyd i lawr gan Dr. Hudson, sydd raid eu caniattau; sef, a'r Nabateaid heb fod yn awr yn glynu wrth Antiochus, mab Alexander Balas, ond wrth ei elyn ef a Jonathan, Demetrius Nicator; Jonathan a geisiodd trwy orthrech eu rhwymo i ddyfod i'w fesurau ef; a chyfaddef ei gyfaill Antiochus yn frenin Assyria.

lleoedd cyssylltedig yn gadarnach â thyrau tra uchel: ac heblaw hynny, i adeiladu mur arall ynghanol y ddinas, mewn trefn i gadw y farchnadfa oddiwrth y wersyllfa oedd yn y tŵr; a thrwy'r moddion hynny eu lluddias hwynt rhag meddiannu llawnder o luniaeth. Ac ymhellach, i wneud yr amddiffynfeydd yn y wlad yn gadarnach, ac yn haws eu diogelu. Ac wedi i'r pethau hyn ymddangos yn gymmeradwy gan y lliaws, megis wedi ei iawn fwriadu, Jonathan ei hun a gymmerodd ofal yr adeiladau a berthynai i'r ddinas; ac a ddanfonodd Simon i wneud yr amddiffynfeydd yn y wlad yn fwy diogel nac o'r blaen. Ond Demetrius a aeth tros Euphrates, ac a ddaeth i Mesopotamia; megis yn ewyllysio dal gafael yn y wlad honno, yn gystal a Babilon: a phan ga'i feddiant o arglwyddiaeth yr ardaloedd uwchaf; yna gosod sylfaen i gael adferiad o'i deyrnas gyfan-gwbl. Canys y Groegiaid hynny a'r Macedoniaid a gyfanneddent yno yn fynych, a ddanfonasant gennadwyr atto; ac a addawsant, os deuai attynt hwy, y rhoddent eu hunain i fynu iddo, ac y cynnorthwyant ef i ymladd yn erbyn * Arsaces, brenin y Parthiaid. Felly efe a ymdderchafodd yn ei feddwl wrth y gobeithiau hyn, ac a ddaeth attynt gyd â brys; megis wedi penderfynu, os gallai unwaith ddadymchwel y Parthiaid, a meddiannu byddin o'r eiddo ei hun, y gwnai ryfel yn erbyn Trypho, i'w yrru allan o Syria. A phobl y wlad honno a'i derbyniasant gyd â boddlonrwydd mawr. Felly efe a gyfododd fyddinoedd, â'r rhai yr ymladdodd yn erbyn Arsaces; ond efe a gollodd ei holl fyddin, ac a gymmerwyd ei hun yn garcharor.

## PENNOD VI.

*Am fradwriaethus lofruddiad Jonathan; ei ddilyniad gan Simon fel llywydd y fyddin ac archoffeiriad yr Iuddewon; a'r ymdrechiadau gwrol a arferodd yn erbyn Trypho.*

PAN wybu Trypho yr hyn a ddigwyddasai i Demetrius, ni bu mwyach yn ffyddlon i Antiochus; ond a ddyfeisiodd trwy ddichell ei ladd ef, ac yna meddiannu y deyrnas iddo ei hun. Ond yr ofn oedd arno oblegid Jonathan ydoedd rwystr i'w amcan: canys yr oedd Jonathan yn gyfeillgar ag Antiochus. O herwydd pa achos efe a luniaethodd yn gyntaf gymmeryd Jonathan oddiar y ffordd; ac yna ymosod o amgylch ei amcan ymherthynas i Antiochus. Ond efe gan farnu yn oreu ei gymmeryd trwy dwyll a bradwriaeth, a ddaeth o Antioch i Bethshan; yr hwn le gan y Groegiaid a elwir Scythopolis; yno y cyfarfu Jonathan ag ef, gyd â deugain mil o wŷr detholedig; canys efe a dybiodd ei ddyfod i ymladd ag ef.

Ond pan welodd fod Jonathan yn barod i ymladd, efe a geisiodd ei ynnill trwy anrhegion, ac ymddygiad caredigol; gan roddi gorchymmyn i'w gad-bennaethiaid ufuddhau iddo; a thrwy'r moddion hyn ymddangosodd yn ewyllysio rhoddi sicrwydd iddo o'i ewyllys da, a symmud ymaith bob amheuaeth o'i feddwl; fel trwy hynny y parai iddo fod yn ddiofal ac anfeddylgar; ac y cymmerai ef pan fyddai yn ddiwyliadwriaeth. Efe hefyd a'i hannogodd i ddanfon ymaith ei fyddin, o herwydd nad oedd achos iddo eu dwyn gyd ag ef; pan nad oedd dim rhyfel, ond pob peth mewn heddwch. Pa fodd bynnag, efe a ddymunodd arno gadw rhai yn ei gylch, i fyned gyd ag ef i Ptolemais; oblegid y rhoddai efe y ddinas i fynu iddo ef; ac y parai i'r amddiffynfeydd yn y wlad ddyfod tan ei arglwyddiaeth: ac a ddywedodd ei ddyfod i'w gyfarfod yn unig gyd a'r amcan hwn.

Etto ni ddrwg-dybiodd Jonathan ddim oll o'r trefniadau hyn, ond a gredodd fod Trypho yn rhoddi'r cyngor hwn iddo o garedigrwydd, a chyd ag amcan difrifol. Yn ganlynol efe a ddanfonodd yn ol ei fyddin, heb gadw ychwaneg na thair mil o honynt gyd ag ef; ac efe a adawodd ddwy fil yn Galilea; ac a ddaeth ei hun gyd ag un mil at Trypho i Ptolemais. Ond wedi i bobl Ptolemais gau i fynu eu pyrth, megis y gorchymmynasid gan Trypho,

* Y brenin hwn, pa un oedd o hiliogaeth glodfawr Arsaces, a elwir yma, ac yn 1 Maccab. xiv. 2. yn ol enw teuluaidd Arsaces: ond Appian a ddywed mai ei briodol enw oedd Phraates. Gelwir ef hefyd yma yn frenin y Parthiaid, fel yr arferai y Groegiaid eu galw hwynt; ond gan awdwr hynaf y llyfr cyntaf o'r Maccabeaid, brenin y Persiaid a'r Mediaid, yn ol iaith y cenhedlaethau dwyreiniol. Gwel Authent. Rec. Rhan II. t. d. 1108.

efe a gymmerodd Jonathan yn fyw, ac a laddodd y rhai oll oedd gyd ag ef. Efe hefyd a ddanfonodd filwyr yn erbyn y ddwy fil hynny a adawsid yn Galilea, mewn trefn i'w difetha hwynt. Ond y gwŷr hyn wedi clywed yr hanes am y peth a ddigwyddasai i Jonathan, a ragflaenasant eu dibenyddiad, a chyn dyfodiad y rhai a ddanfonasid gan Trypho, gorchuddiasant eu hunain â'u harfogaeth, ac a ymadawsant allan o'r wlad. Yn awr, wedi i'r rhai a ddanfonasid i'w herbyn weled fod y Galileaid yn barod i ymladd am eu bywydau, ni wnaethant ddim aflonyddwch iddynt, ond a ddychwelasant at Trypho.

Pan glybu pobl Jerusalem gymmeryd Jonathan, a bod y milwyr oedd gyd ag ef wedi eu difetha, cwynfanasant yn fawr o herwydd ei dynghedfen resynol; ac yr oedd ymholiad prysur yn cael ei wneud o amgylch gan bawb ymherthynas iddo, ac ofn mawr a syrthiodd arnynt fel y tristäwyd hwynt; rhag yn awr wedi eu hymddifadu o wrolder a blaenoriaeth Jonathan, y dygai y cenhedloedd o'u hamgylch ddrwg-ewyllys tu ag attynt: ac fel yr oeddynt o'r blaen yn cael llonyddwch, hwy a gyfodant yn awr yn eu herbyn; a thrwy wneuthur rhyfel â hwynt, a'u gosodant tan y peryglon mwyaf. Ac yn wir yr hyn a ddychymmygasant, yn wirioneddol a'u goddiweddodd hwynt. Canys wedi i'r cenhedloedd hynny glywed am farwolaeth Jonathan, hwy a ddechreuasant wneuthur rhyfel â'r Iuddewon, megis eu bod yn awr yn amddifad o lywodraethwr. Trypho ei hun a gasglodd fyddin, ac a fwriadodd fyned i fynu i Judea, a rhyfela yn erbyn ei thrigolion. Ond pan welodd Simon fod pobl Jerusalem yn ddychrynedig wrth yr amgylchiadau yr oeddynt ynddo, efe a ddymunodd gael areithio wrthynt; a thrwy hynny peri iddynt fod yn fwy hyderus i wrthwynebu Trypho pan ddeuai yn eu herbyn. Yna efe a alwodd y bobl ynghyd i'r deml; ac a ddechreuodd eu cefnogi yn y modd canlynol:—

"O fy nghydwladwyr! nid yw yn anwybod i chwi, ddarfod i'n tad, fy hun, a fy mrodyr, anturio peryglu ein bywydau, a hynny yn ewyllysgar, er adferiad eich rhydd-did. Tra mae gennyf gan hynny y fath ddigonol siamplau o'm blaen; a'n teulu ni wedi penderfynu ynom ein hunain i farw tros eich cyfreithiau, a'n haddoliad dwyfol: ni fydd un perygl mor fawr ag i fwrw ymaith yr ymröad hwn o'n heneidiau. Dilynwch chwi fi, gan hynny, gyd â bywiogrwydd, i ba le bynnag y tywyswyf chwi; megis eich bod etto heb eich ymddifadu o'r fath flaenor ag sy'n ewyllysgar i ddioddef, ac i wneud y pethau mwyaf trosoch chwi. Canys nid wyf finnau well na'm brodyr, fel yr arbedwn fy mywyd fy hun: nac mor bell yn waeth na hwythau, ag i ochelyd, a gwneuthur gommeddiad, o'r hyn a feddyliasant hwy oedd anrhydeddusaf o bob peth; fy meddwl yw, myned tan boen marwolaeth er mwyn eich cyfreithiau, a thros addoliad Duw, yr hyn sy'n perthynu yn neillduol i chwi. Myfi gan hynny a roddaf dystiolaeth amlwg, ag a ddanghoso mai eu brawd hwy eu hunain ydwyf. Ac yr wyf mor hŷf a disgwyl y caf ddial eu gwaed hwy ar ein gelynion: a'ch gwaredu chwi oll, gyd â'ch gwragedd a'ch plant, oddiwrth y niweid y maent yn ei fwriadu i'ch erbyn: a chyd â chymmorth Duw, i amddiffyn eich teml rhag cael ei dinystrio ganddynt. Canys yr wyf yn gweled eich bod yn ddirmygus gan y cenhedlaethau hyn, am eich bod heb bennaeth neu lywydd: ac oblegid hynny y maent yn hyderus i wneud rhyfel i'ch erbyn."

Trwy'r araith hon Simon a fywioccaodd y lliaws â gwrolder: ac fel yr oeddynt o'r blaen yn barod i ddiffygio gan ofn; yr oeddynt yn awr wedi ymdderchafu i obaith da am well pethau: yn gymmaint ag i'r holl liaws lefain ar unwaith, mai Simon a fyddai eu blaenorwr: ac yn lle Judas a Jonathan ei frodyr, efe a ga'i lywodraethu arnynt: a hwy a addawsant y byddent barod i ufuddhau iddo ym mha beth bynnag a orchymmynai iddynt. Felly efe yn ebrwydd a gasglodd ynghyd ei holl filwyr ei hun, ag oedd gymmwys i ryfel; ac a wnaeth frys i ail-adeiladu muriau'r ddinas, a'u cadarnhau â thyrau tra uchel: ac a ddanfonodd ei gyfaill Jonathan, mab Absalom, i Joppa, gan ei orchymmyn i yrru allan y trigolion o'r ddinas: canys yr oedd yn ofni rhag rhoddi o honynt y ddinas i fynu i Trypho:

ond efe ei hun a arhosodd i sicrhau Jerusalem.

Yn awr, Trypho a symmudodd o Ptolemais gyd â byddin fawr, ac a ddaeth i Judea; gan ddwyn Jonathan gyd ag ef mewn rhwymau. Simon hefyd a'i cyfarfu â'i fyddin yn y ddinas Adida, yr hon sy'n sefyll ar fryn; ac islaw iddi y gorwedd dyffrynnoedd Judea. A phan wybu Trypho fod Simon wedi ei wneud yn llywodraethwr yr Iuddewon, efe a ddanfonodd atto; ac a fynnai ei hudo ef trwy dwyll a dichell; ac a ddymunodd os mynnai efe ei frawd Jonathan yn rhydd, ar fod iddo anfon can talent o arian, a dau o feibion Jonathan yn wystlon; fel pan ryddhaid ef, na byddai iddo beri i Judea wrthgilio oddiwrth y brenin: oblegid ei fod yn bresennol yn cael ei gadw mewn rhwymau ar gyfrif yr arian a fenthyciodd oddiar y brenin, ac yn awr oedd yn ddyledus arno iddo. Ond yr oedd Simon yn ochelgar o gyfrwysdra Trypho; ac er ei fod yn gwybod os rhoddai iddo yr arian y collai hwynt, ac na ryddheid ei frawd gan Trypho; a chyd â'r cwbl, y traddodai feibion Jonathan i'r gelyn: etto gan ei fod yn ofni rhag cyfodi enllib yn ei erbyn ym mhlith y lliaws, ei fod yn achos o farwolaeth ei frawd, os na roddai yr arian, na thraddodi meibion Jonathan; efe a gasglodd ei fyddin ynghyd, ac a ddywedodd iddynt y cynnygiadau a wnaethai Trypho: gan chwanegu fod y cynnygiadau yn amheus ac yn dwyllodrus; ac etto ei fod yn fwy dewisol i ddanfon yr arian a meibion Jonathan, na bod yn ddarostyngedig i'w gyfrif yn feius o beidio cydsynied â chynnygion Trypho, a thrwy hynny gwrthod achub ei frawd. Yn ganlynol, Simon a ddanfonodd feibion Jonathan, ynghyd â'r arian. Ond wedi i Trypho eu derbyn hwynt, ni chadwodd ei addewid, ac ni ollyngodd Jonathan yn rhydd: ond a gymmerodd ei fyddin ac a aeth o amgylch yr holl wlad; ac a ymrodd i fyned i fynu i Jerusalem trwy Idumea; pan yr aeth Simon trosodd i'w erbyn gyd â'i fyddin, ac a wersyllodd ar ei gyfer ef.

Wedi i'r rhai oedd yn y tŵr ddanfon at Trypho, i ddymuno arno brysuro i ddyfod attynt hwy, ac anfon lluniaeth iddynt; efe a barottodd ei wŷr meirch, fel pe buasai ar fedr bod yn Jerusalem y noson honno. Ond bwriodd y fath gnwd o eira yn y nos ag a orchuddiodd y ffyrdd mor ddwfn, nad oedd modd myned ymlaen, yn enwedig i feirch. A hyn a'i lluddiodd rhag dyfod y pryd hynny i Jerusalem. Trypho, gan hynny, a symmudodd ymaith, ac a ddaeth i Cœlesyria: a chan syrthio yn danbaid ar dir Gilead, efe a laddodd Jonathan yno; ac wedi rhoddi gorchymmyn am ei gladdu, efe a ddychwelodd i Antioch. Pa fodd bynnag, Simon a ddanfonodd rai i'r ddinas Basca, i ddwyn ymaith esgyrn ei frawd; y rhai a gladdodd yn eu dinas eu hun Modin. A'r holl bobl a wnaethant alar mawr am dano. Simon hefyd a gyfododd arwydd-feini tra helaeth ar fedd ei dad, a'i frodyr; y rhai a wnaed o gerrig gwynion, wedi eu llyfnhau; gan eu cyfodi i uchder mawr, fel y gwelid hwynt o bellder nid ychydig: ac a wnaeth ystafelloedd o'u hamgylch, gan osod i fynu golofnau o feini unigol bob un. Ymhellach, efe a wnaeth saith piramid i'w rïeni a'i frodyr; y rhai oeddynt a'u gwneuthuriad yn dra rhyfedd, ymherthynas i'w helaethrwydd a'u harddwch; y rhai a gadwyd hyd y dydd hwn. Ac nyni a wyddom mai Simon a gymmerodd gymmaint o ofal ynghylch claddfa Jonathan, ac adeiladaeth y bedd-feini coffadwrus hyn am ei berthynasau. Yn awr, bu farw Jonathan wedi bod yn archoffeiriad * bedair blynedd; ac hefyd yn llywodraethydd ei genedl. A dyma'r amgylchiadau a berthynent i'w farwolaeth.

Ond Simon, yr hwn a wnaethid yn archoffeiriad gan y lliaws, yn y flwyddyn gyntaf o'i archoffeiriadaeth, a ryddhaodd ei bobl o'u caethiwed tan y Macedoniaid; ac ni adawodd arnynt dalu teyrnged yn hwy iddynt. Yr hwn ryddid oddiwrth deyrnged a gawsant yn ol cant a deng mlynedd a thrugain o deyrnas yr Assyr-

* Y mae rhyw gyfeiliorni yn y copiau yma; pan nad oes ychwaneg na phedair blynedd yn cael ei gyfrif i archoffeiriadaeth Jonathan. Nyni a wyddom oddiwrth amseryddiaeth Iuddewig diweddaf Josephus, XX. 10, fod y cyfrwng o saith mlynedd rhwng marwolaeth Alcimus neu Jacimus, yr archoffeiriad diweddaf, a gwir archoffeiriadaeth Jonathan; i ba un etto yr ymddengys y cyfrifiad o saith mlynedd yma, fel y gwnaed rhan o honynt i Judas o'r blaen, XII. 10. Yn awr, gan fod heblaw y saith mlynedd o gyfrwng yn yr archoffeiriadaeth, wedi ei grybwyll wrthym XX. 10, barhau o archoffeiriadaeth Jonathan saith mlynedd yn rhagor, y ddau saith mlynedd a wnant i fynu 14 mlynedd, yr hyn yr wyf yn tybied oedd rhifedi Josephus ei hun yn y lle hwn; yn lle'r pedair yn ein presennol gopiau.

iaid:* yr hyn ydoedd wedi i Seleucus, yr hwn a elwid Nicator, gael y llywodraeth ar Syria. Yn awr, yr oedd serch y lliaws mor fawr tu ag at Simon, fel ar eu cyttundeb mewn masnach â'u gilydd, ac yn llyfr eu coffadwriaethau cyffredin, yr oeddynt yn nodi i lawr yn ysgrifenedig, "Yn y flwyddyn gyntaf i Simon, noddwr a chymmwynaswr yr Iuddewon." Canys tano ef yr oeddynt yn dra dedwydd, ac a orchfygasant y gelynion oedd o'u hamgylch. Canys Simon a ddadymchwelodd y dinasoedd Gazara, Joppa, a Jamnia. Efe hefyd a gymmerodd dŵr Jerusalem trwy gynllwyn, ac a'i tynnodd i lawr i'r ddaear; fel na byddai mwy yn lle o noddfa i'w gelynion pan ddiangent iddo, i wneud niweid iddynt, fel y gwnaethant hyd yn awr. Ac wedi cyflawni hyn, efe a dybiodd yn gymmwys, ac o fantais iddynt, i wastadhau y mynydd ei hun, ar ba un yr oedd y tŵr yn sefyll, fel y byddai y deml i'w golygu yn uwch nag ef. Ac wedi iddo alw y lliaws ynghyd yn gynnulleidfa, efe a'u perswadiodd i gael ei ddiddymmu felly: a hynny trwy roddi ar ddeall iddynt y fath flinder a ddioddefasant oddiwrth ei wersyllwyr; a'r ffoaduriaid Iuddewig; a pha flinder a allent gael yn ol hyn os digwyddai i ddieithriaid feddiannu'r deyrnas; a gwersyllu o honynt drachefn yn y lle hwnnw. Yr ymadroddion a dueddodd y lliaws i gydsyniad, o herwydd nad oedd yn eu cynghori i ddim ond a fyddai er eu llesâd. Felly hwy oll a gymmwysasant eu hunain at y gwaith, ac a wastadhasant y mynydd yn gydradd â'r pantiau; ac yn y gwaith hwnnw yr ymdreuliasant ddydd a nos, yn ddi-orphwys, yr hwn y buont wrtho dair blynedd † gyfan yn ei symmud, a'i wneud yn gyd wastad ag iseldir y ddinas: fel ar ol gorphen hyn, ymddangosodd y deml yn uchaf o bob adeiladau, wedi dadymchwel y tŵr, yn gystal a'r mynydd neu'r bryn yr oedd yn sefyll arno gael ei ddiddymmu. A hyn oll a wnaethpwyd tan lywodraethiad Simon.

## PENNOD VII.

*Am y cyweithasrwydd rhwng Simon ac Antiochus Pius; a'i ryfeloedd yn erbyn Trypho, ac yn erbyn Cendebeus, blaenor byddin Antiochus. Hefyd am ei lofruddiaeth gan ei fab-ynghyfraith Ptolemy.*

YN ‡ awr, wedi dwyn Demetrius ymaith i gaethiwed, Trypho ei lywodraethwr a § ddifethodd Antiochus, mab Alexander, yr hwn a elwid y ‖ duw; a hyn wedi iddo deyrnasu pedair blynedd. Er iddo beri cael ei adrodd mai tan

* Y 170 blynyddoedd yr Assyriaid, ni feddwl ychwaneg, megis y mae Josephus yn ei egluro ei hun yma, nac oddiwrth amser nodedig Seleucus, yr hwn fel y gwybyddir iddo ddechreu ar y 312fed flwyddyn, o flaen amser nodedig Cristionogrwydd; o'i dymmor gwanwyn yn llyfr cyntaf y Maccabeaid; a'i hydref yn ail llyfr y Maccabeaid: felly ni ddechreuodd yn Babilon hyd y gwanwyn canlynol, ar y 311 mlynedd. Gwel Prid. ar y flwyddyn 312. Ac fe sylwir yn gywir gan Dr. Hudson ar y lle hwn, fod y Syriaid a'r Assyriaid yng ngwaith awdwyr hynafol, yn cael weithiau eu cymmysgu:, yn gyttunol â geiriau Justin, talfyrrwr Trogus Pompeius; yr hwn a ddywed, "ddarfod i'r Assyriaid mewn amser canlynol gael eu galw yn Syriaid." I. 11. Gwel Hanes y Rhyf. V. 9, lle y mae'r Philistiaid eu hunain ar derfyn deheuol Syria, yn ei ehangder eithaf yn cael eu galw Assyriaid gan Josephus, fel y mae Spanheim yn sylwi.

† Bi. 142, 141, 140. C. C.

‡ Rhaid nodi yn fanwl yma o lyfr cyntaf y Maccabeaid, yr hwn a ddilynasai Josephus mor fanwl, ac a'i talfyrrasai yn ffyddlon, cyn belled a'r 50 adn. o'r xiii ben. a ymddengys yno yn diweddu. Yr ychydig sy'n canlyn ar ol hynny ag ydynt gyffredin y naill i'r llall, a allai ysgatfydd gael ei ddysgu ganddo ef oddiwrth ryw goffadwriaethau ammherffaith eraill. Pa fodd bynnag, rhaid i ni graffu yn fanwl yma, yr hyn y mae rhan weddilledig o lyfr y Maccabeaid hwnnw yn ein hyspysu am dano; a'r hyn ni fynnasai Josephus fyth ei adael o'r neilldu, pe cynnwysasid gymmaint gan y copi hwn: ddarfod i Simon y mwyaf, o deulu'r Maccabeaid, wedi cyngrair ag Antiochus Soter, mab Demetrius Soter, a brawd y Demetrius arall, yr hwn oedd yn awr mewn caethiwed yn Parthia; fel ar ei ddyfodiad i'r goron, ynghylch y flwyddyn 140 cyn y cyfrif Cristionogol, ganiattau o hono freintiau mawrion i'r genedl Iuddewig; ac i Simon eu harchoffeiriad a'u noddwr; pa ryw ragorfreintiau Simon a ymddengys fel wedi gwneud derbyniad o honynt ynghylch tair blynedd o'r blaen. Yn enwedig, efe a ganiattaodd iddo wneud arian i'w defnyddio yn ei wlad, a chyd â'i argraph ei hun; ac ymherthynas i Jerusalem, a'r cyssegr, eu gosod hwy yn rhydd; neu fel y dywed y Lladin cyffredin, yn sanctaidd ac yn rhydd, 1 Maccab. xv. 6, 7. yr hyn yr wyf yn ei gymmeryd yn ddarlleniad cywiraf: megis eu bod yn eiriau cydsyniol ei dad i Jonathan amryw flynyddau o'r blaen, x. 34. Hynaf. XIII. 2. Yn awr, yr hyn sy'n gwneud yr amseriad hwn, a'r caniattâd yn dra hynod, yw amgylchiad gweddill siclau yr Iuddewon ag argraph Samariaidd; y rhai a ymddangosant eu bod (o leiaf y rhan fwyaf o honynt) wedi eu bathu yn y pedair blynedd gyntaf o Simon yr Asmonead hwn; ac â chanddynt y geiriau hyn ar un tu, "Jerusalem y gyssegredig:" ac ar y tu arall, "Yn y flwyddyn o ryddid, 1, 2, 3, neu 4." Pa ryw siclau gan hynny ydynt goffadwriaethau hynafol yr amseroedd hyn; ac yn nodau diymwad o wirionedd yr hanesiad yn y pennodau hynny; er ei fod mewn mesur mawr yn cael ei esgeuluso gan Josephus. Gwel Draethawd ar yr Hen Dest. t. d. 157, 158. Y rheswm paham yr wyf yn meddwl fod ei gopi ef o'r Maccabeaid a'r pennodau hyn yn eisiau ynddynt yn hytrach na bod ei gopiau ei hun yma yn amherffaith, yw hyn; nad yw ei holl gynnwysiad yn cael ei adael o'r neilldu yma, er bod, o lawer y rhan fwyaf. Gwel battrwm, gyd â'r argraph mewn llythyrennau Samariaidd, ar odre fy nesgrifiad o Demlau.

§ Y modd y lladdodd Trypho yr Antiochus hwn, Talfyriadau Livy a hyspysa i ni, Pen. 55. sef, Darfod iddo wobrwyo'r physygwyr neu feddygon, y rhai a gymmerasant arnynt wrth y bobl, ei farw o herwydd y garreg, tra yr oeddynt yn ei archolli, ac wrth hynny ei ladd ef: yr hyn sy'n cyttuno yn gymmwys â Josephus.

‖ Ddarfod i'r Antiochus hwn, mab Alexander Balas, gael ei alw Y duw, sydd eglur oddiwrth argraph ei arian; yr hyn y mae Spanheim yn sicrhau i ni ydoedd hyn; "Y Brenin Antiochus, y duw, Epiphanes, y buddugoliaethus."

law'r meddygon y buasai farw. Yna efe a ddanfonodd ei gyfeillion, a'r rhai oedd fwyaf cymdeithasgar ag ef at y milwyr; gan addaw rhoddi arian lawer iddynt am ei wneuthur ef yn frenin. Efe a arwyddodd iddynt fod Demetrius wedi ei gymmeryd yn gaethwas gan y Parthiaid. Ac os denai Antiochus, brawd Demetrius yn frenin, y gwnai efe lawer o niweid iddynt, mewn ffordd o ymddial, am droi o honynt ymaith oddiwrth ei frawd. Felly y milwyr tan ddisgwyl am y cyfoeth a ynnillent trwy sefydlu y deyrnas ar Trypho, a'i gwnaethant ef yn llywydd arnynt. Pa fodd bynnag, wedi i Trypho feddiannu llywodraethiad achosion gwladol, efe a amlygodd ei duedd at ddrygioni. Canys pan oedd yn ddyn neillduedig, efe a arferai gymdeithasu â'r lliaws, ac a gymmerai arno fod yn dra chymmedrol, ac felly a'u denai trwy gyfrwysdra at yr hyn a ewyllysiai. Ond wedi iddo unwaith feddiannu y deyrnas, efe a osododd o'r neilldu bob gwenieithdra, ac a ymddangosodd yn ei liw priodol ei hun. Yr ymddygiad yma a barodd i'w elynion ragori arno: canys y milwyr a'i casasant, ac a droisant oddiwrtho at Cleopatra, gwraig Demetrius; yr hon oedd y pryd hynny wedi ei chau i fynu gyd â'i phlant yn Seleucia. Ond fel nad oedd Antiochus, mab Demetrius, yr hwn a elwid Soter, yn cael derbyniad gan un o'r dinasoedd, oblegid Trypho; Cleopatra a ddanfonodd atto, gan ei wahodd i'w phriodi, a chymmeryd iddo y deyrnas. Y rheswm paham y rhoddodd y gwahoddiad hwn iddo, ydoedd, ddarfod i'w chyfeillion ei hannog iddo; a'i bod yn ofni am dani ei hun, os rhoddai rhai o drigolion Seleucia y ddinas i fynu i Trypho.

Fel ag yr oedd Antiochus yn awr wedi dyfod i Seleucia, a'i fyddinoedd beunydd yn cynnyddu, efe a aeth ym mlaen i ymladd â Trypho: ac wedi ei orchfygu, efe a'i gyrrodd allan o Syria uchaf a Phœnicia; gan ei erlid yno, a'i gynllwyn hyd yn Dora, yr hon oedd amddiffynfa anhawdd ei chymmeryd, i ba un y ffoisai. Efe hefyd a ddanfonodd gennadwyr at Simon, yr archoffeiriad Iuddewig, ynghylch cyngrair o gyfeillgarwch a chydamddiffyniad: yr hwn a fu barod i dderbyn y cynnygiad, ac a ddanfonodd i Antiochus fesur helaeth o arian, a lluniaeth i'r rhai oedd yn gwarchae ar Dora; a thrwy hynny a'u diwallodd yn dra helaeth. Felly, am ychydig amser, efe a edrychid arno fel un o'i gyfeillion agosaf. Ond etto, Trypho a ffôdd o Dora i * Apamia, ym mha le y cymmerwyd ef yn amser y cynllwyn, ac a'i rhoddwyd i farwolaeth, pan deyrnasasai † dair blynedd.

Pa fodd bynnag, Antiochus a anghofiodd y cymmorth caredig a ganiattasai Simon iddo wrth angen; trwy'r achos o'i duedd fydol ac anwireddus: ac a roddodd filwyr i'w gyfaill Cendebeus; gan ei ddanfon ar unwaith i anrheithio Judea, ac i orddiwes Simon. Pan glybu Simon fod Antiochus wedi torri y cyngrair ag ef, er ei fod yn awr mewn gŵth o oedran; etto wedi ei gythryblu â'r driniaeth anghyfiawn a gyfarfuasai oddiwrth Antiochus: a chan gymmeryd calondid mwy nag a allai ei oedran atteb iddo, efe a aeth allan fel gŵr ieuangc i flaenori ar ei fyddin. Efe hefyd a ddanfonodd ei feibion o'i flaen, ym mysg y rhai dewraf o'i filwyr; ac efe ei hun a aeth ym mlaen gyd â'i filwyr ffordd arall; gan osod amryw o wŷr mewn cynllwyn yn y dyffrynnoedd culion, rhwng y mynyddoedd. Ac ni fethodd efe lwyddo yn un o'i ymdrechiadau; ond yr ydoedd yn rhy galed i'w elynion ym mhob un o honynt. Felly efe a arweiniodd weddill ei fywyd mewn heddwch: ac hefyd a wnaeth gyngrair â'r Rhufeiniaid.

Yn awr, efe a fuasai lywodraethwr yr Iuddewon trwy'r cwbl ‡ wyth mlynedd: ond yr achos o'i farwolaeth o'r diwedd a fu mewn gwledd, trwy fradwriaeth ei fab-ynghyfraith Ptolemy; yr hwn a ddaliodd afael hefyd ar ei wraig, a dau o'i feibion, gan eu cadw mewn rhwymau. Efe hefyd a ddanfonodd rai i ladd Ioan, ei drydydd mab, enw yr hwn hefyd oedd Hyrcanus. Ond a'r dyn ieuangc yn canfod eu dyfodiad, a § ochelodd y perygl yr oedd ynddo; ac a frysiodd i'r ddinas Jerusalem, megis yn

* Orthosia, 1 Maccab. xv. 37. † Bl. 142, 141, 140.
‡ O'r Fl. 143 hyd y Fl. 135 C. C.
§ Yma y mae Josephus yn dechreu canlyn, ac yn talfyrru y llyfr cysegrol nesaf yn Hebraeg; a elwir yn niwedd llyfr cyntaf y Maccabeaid, Croniclau archoffeiriadaeth Ioan Hyrcanus; ond yn rhai copiau Groegaidd, pedwerydd llyfr y Maccabeaid. Cyfieithiad Groeg o'r cronicl

hyderu ar ewyllys da y lliaws, o herwydd y budd a gawsent oddiwrth ei dad; ac o herwydd y casineb oedd gan yr unrhyw liaws at Ptolemy. Felly, fel ag yr oedd Ptolemy yn ymegnïo i fyned i mewn i'r ddinas trwy borth arall; hwy a'i gyrrasant ymaith, megis eu bod eisoes wedi gwneud derbyniad o Hyrcanus.

## PENNOD VIII.

*Hyrcanus yn cael yr archoffeiriadaeth, ac yn gyrru Ptolemy allan o'r wlad. Antiochus yn gwneud rhyfel yn erbyn Hyrcanus, ac yn ol hynny yn gwneud cyngrair âg ef.*

PTOLEMY a * giliodd i un o'r amddiffynfeydd ag ydoedd uwchlaw Jericho, yr hon a elwid Dagon. Ond Hyrcanus a gafodd yr archoffeiriadaeth, a fuasai eiddo ei dad o'r blaen; ac a heddychodd Dduw trwy aberthau. Yna efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Ptolemy; ac wedi gwneuthur ymosodiadau ar y lle, mewn pethau eraill yr ydoedd yn rhy galed iddo: ond efe a wnaethpwyd yn wannach nag ef, trwy y cyd-ymdeimlad oedd ganddo â thrueni ei fam a'i frodyr; a thrwy hynny yn unig. Canys Ptolemy a'u gosododd hwynt ar y mur, ac a'u poenodd hwynt yngolwg pawb; ac a fygythiodd eu bwrw i lawr bendramwnwgl, oni pheidient â'r cynllwyn. Ac fel y tybiodd mai mor belled ag yr arafai yn y cynllwyn, a chymmeriad y lle, y dangosai gymmaint a hynny o ffafr i'r rhai anwylaf ganddo ei hun, trwy ragflaenu eu poenydiau, ei awyddfryd ynghylch y cynllwyn a laccäodd. Pa fodd bynnag, ei fam a estynnodd allan ei dwylaw, ac a ddeisyfodd arno na thyfai yn esgeulus o'i phlegid hi: ond chwanegu ei ddigter gymmaint a hynny yn rhagor, ac yr ymdrechai i'r eithaf i gymmeryd y lle ar fyrr; mewn trefn i gael eu gelyn tan ei awdurdod; ac yna i ddial arno ef yr hyn a wnaethai i rai agosaf atto ei hun. Oblegid y byddai marwolaeth yn felys iddi hi, er ei gyfarfod trwy ddioddef arteithiau, os byddai i'r gelyn hwnnw iddynt hwy gael ei ddwyn i gospedigaeth, am ei greulonder tu ag attynt hwy. Yn awr, yn ol i'w fam ddywedyd felly, efe a fwriadodd gymmeryd yr amddiffynfa yn union-gyrch: ond pan welodd hi yn cael ei churo a'i rhwygo yn ddrylliau, ei gefnogrwydd a fethodd; ac ni allai fod heb gydymdeimlo â'r hyn a ddioddefai ei fam; ac wrth hynny efe a orchfygwyd. Ac fel y rhoddwyd estyniad ar y cynllwyn trwy 'r moddion hyn, y flwyddyn ar ba un y gorphwysai'r Iuddewon a ddaeth o amgylch: canys yr Iuddewon a wnant sulw o'r orphwysfa hon bob saith mlynedd, fel y gwnant ar bob seithfed dydd. Felly Ptolemy † oblegid hyn, wedi cael ei ryddhau oddiwrth y rhyfel, a laddodd frodyr Hyrcanus, a'i fam. Ac wedi gwneuthur felly, efe a ffodd at Zeno, a elwid hefyd Cotylus; yr hwn y pryd hynny ydoedd orthrymmwr Philadelphia.

Ond ag Antiochus yn dra anesmwyth, oblegid y blinderau a'i dygasid iddynt gan Simon, a oresgynnodd Judea, yn y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad, a'r flwyddyn gyntaf o dywysogaeth Hyrcanus, yn y ganfed ‡ a'r eilfed a thrugain Olympiad. Ac wedi gosod y wlad ar dân, efe a gauodd i fynu Hyrcanus yn y ddinas; yr hon a amgylchynodd o gwmpas â saith o wersylloedd: ond ni wnaeth ddim yn y dechreu, o herwydd cadernid y muriau, a gwroldeb y rhai a warchaewyd: er eu bod unwaith mewn diffyg o ddwfr; yr hyn etto y gwaredwyd hwy oddiwrtho trwy ddisgyniad cawod helaeth

hwn oedd yn nyddiau Santes Pagninus, a Sixtus Senensis yn Lyons: er yr ymddengys iddo gael ei losgi, ac yn awr wedi hollol fyned yng ngholl. Gwel Sixtus Senensis yn ei hanes am dano, ynghylch ei amryw ymadroddion Hebreaidd; a'i gyttundeb mawr â thalfyriad Josephus, yn yr Authent. Rec. Rhan. 1. t. d. 206, 207, 208.

* Bl. 136.

† Oddi yma yr ydym yn dysgu fod, yn nyddiau'r archoffeiriad rhagorol hwn, Ioan Hyrcanus, sulw yn cael ei wneud o'r flwyddyn Sabbothol, fel y meddyliodd Josephus ei bod yn gofyn gorphwyso oddiwrth ryfel; fel yr oedd y Sabboth wythnosol yn orphwysfa oddiwrth waith. Fy meddwl yw hyn, oddigerth ei fod mewn achos o angenrheidrwydd, pan oddiweddid yr Iuddewon gan eu gelynion; ar ba achos yn wir, ac ym mha un yn unig, yr oeddynt yn caniattau ymladdiad amddiffynol yn gyfreithlon, ie ar y dydd Sabboth, fel y gwelwn yn amryw fannau o Josephus. Hynaf. XII. 6. XIII. 1. XIV. 1. XVIII. 9. Am y Rhyf. I. 7. IV. 2. Ond yna rhaid nodi, nad yw'r orphwysfa yma oddiwrth ryfel yn ymddangos un ffordd yn llyfr cyntaf y Maccabeaid, Pen. xvi. ond yn union i'r gwrthwyneb. Er na ddarfu yn wir i'r Iuddewon yn nyddiau Antiochus Epiphanes, anturio i ymladd ar y dydd Sabboth, ie mewn amddiffyniad o'u bywydau eu hunain, hyd oni ddarfu i'r Asmoneaid neu Maccabeaid orchymmyn hynny. 1 Maccab. ii. 32---41. Hyn XII. 6.

‡ Copiau Josephus, yn Groeg a Lladin, sydd ag ynddynt yma gamsyniad mawr; pan y maent yn dywedyd, mai yn y flwyddyn gyntaf i Ioan Hyrcanus, yr hyn a welsom yn awr ei bod yn flwyddyn Sabbotnol, ydoedd y 162 Olympiad; pan mae'n sicr ei bod yr ail flwyddyn o'r 161. Gwelwch y cyffelyb o'r blaen, XII. 7.

o wlaw, yr hon a ddisgynnodd ar fachludiad y Pleiades.* Pa fodd bynnag, ynghylch y rhan ogleddol o'r mur, lle y digwyddodd fod y ddinas yn gyd-wastad â'r tir cyffredin oddi allan, y brenin a gododd gant o dyrau o dri uchder, ac a osododd nifer o filwyr arnynt: ac fel yr oedd yn gwneud rhuthrau beunyddiol, efe a dorrodd geuffos ddwbl, yn ddwfn ac yn llydan; ac a gaethiwodd y bobl o'i mewn, megis o fewn mur. Ond y gwarchaedig a barottoisant i wneud amryw ruthriadau: ac os na fyddai'r gelyn yn rhyw le ar ei wyliadwriaeth, hwy a syrthient arnynt, ac a wnaent iddynt lawer o ddrygau: ac os canfyddent hwy, yna y cilient yn ol yn hawdd i'r ddinas. Ond o herwydd fod Hyrcanus yn canfod yr anghyfleusdra o arhosiad cynnifer o drigolion yn y ddinas, pan oedd lluniaeth yn cael ei dreulio yn gynt ganddynt; ac etto, fel y mae'n naturiol i feddwl, fod rhan fawr o'r bobl hynny heb wneuthur dim; efe a wahanodd y rhan ddiddefnydd o honynt, ac a'u bwriodd allan o'r ddinas, gan gadw y rhan arall ag oedd ym mlodau eu hamser, ac yn gymmwys i ryfel. Pa fodd bynnag, ni adawai Antiochus i'r rhai a dröwyd allan fyned ymaith: y rhai, gan hynny, yn crwydro o amgylch rhwng y caerau, ac yn diflannu gan y newyn, a fuont feirw yn druenus. Ond pan oedd gŵyl y pebyll ger llaw, y rhai o fewn a dosturiasant wrth eu cyflwr, ac a'u derbyniasant drachefn. A phan anfonodd Hyrcanus at Antiochus; gan ddymuno gorphwysiad arfau tros saith niwrnod, o herwydd yr ŵyl; efe a roddodd ganiattâd i'r ymarferiad crefyddol hwnnw tu ag at Dduw, ac a orphwysodd yn ganlynol. Ac heblaw hyn efe a ddanfonodd i mewn iddynt aberthau ardderchog; teirw neu ychain wedi goreuro eu † cyrn, a phob math o ber-lysiau; gyd â llestri o aur ac arian. Felly y rhai oedd wrth y pyrth a dderbyniasant yr aberthau oddiwrth y rhai a'u dygasant, gan eu tywys at y deml: ac Antiochus yn y cyfamser yn gwledda ei fyddin. Ymddygiad tra gwahanol oedd hwn oddiwrth yr un hynny o eiddo Antiochus Epiphanes; yr hwn wedi iddo gymmeryd y ddinas, a offrymmodd foch ar yr allor; ac a daenellodd y deml ag isgell eu cig hwynt, mewn trefn i wneuthur trais ar gyfreithiau 'r Iuddewon, a'r grefydd a dderbyniasent gan eu tadau; am ba reswm y gwnaeth ein cenedl ni ryfel ag ef; ac na chymmodwyd hwynt byth ag ef. Ond am yr Antiochus hwn, pawb a'i galwasant yn Antiochus y duwiol, oblegid y sêl mawr oedd ganddo ynghylch crefydd.

Yn ganlynol, Hyrcanus a dderbyniodd y cymmedrolder hwn yn garedig: a phan ystyriodd pa mor grefyddol ydoedd tu ag at y Duwdod, efe a anfonodd gennadwri atto; gan ddymuno iddo adferyd y taleithiau a dderbyniasent oddiwrth eu hynafiaid. Felly efe a wrthododd gyngor y rhai a ‡ fynnent iddo lwyr ddinystrio 'r genedl, oblegid eu ffordd neillduol o fucheddu; yr hyn tu ag at eraill a'u gwnaent yn anghymdeithasgar; ac ni pharchent yr hyn a ddywedent. Ond gan berswadio eu hunain fod yr hyn oll a wnelent hwy yn tarddu o feddwl crefyddol, efe a attebodd y cennadwyr, os byddai i'r rhai gwarchaedig roddi i fynu eu harfau, a thalu teyrnged tros Joppa, a'r dinasoedd eraill ag oedd yn terfynu ar Judea, a chymmeryd gwersyllwyr i mewn o'r eiddo ef; ar yr ammodau hyn ni wnai ryfel â hwynt mwyach. Ond yr Iuddewon, er boddloni o honynt â'r ammodau eraill, ni chyttunasant a gwneud derbyniad o wersyllwyr dieithrol; am na allent gymdeithasu â phobl eraill, nac ymddiddan â hwynt. Etto yr oeddynt yn ewyllysgar, yn lle derbyn gwersylloedd, i roddi gwŷr yn wystlon iddo, a phum can talent o arian: o ba rai y talasant i lawr dri chant; ac a ddanfonasant y gwystlon yn ddi-oed: o'r hyn y gwnaeth y brenin Antiochus dderbynhonynt.

*Y machludiad yma o'r Pleiades, neu'r saith seren, a fuasai yn nyddiau Hyrcanus a Josephus, yn gynnar yn y gwanwyn, ynghylch mis Chwefror, amser y diweddar wlaw yn Judea. A hyn, mor bell ag yr wyf yn cofio, yw unig grybwylliad astronomyddol amser, heblaw un diffyg ar y lleuad yn nheyrnasiad Herod, yr ydym yn cyfarfod ag ef yn holl waith Josephus. Nid oedd yr Iuddewon yn arfer ond ychydig â sylwiadau astronomyddol; ddim ymhellach nag oedd at wasanaeth eu calendar; ac a hollol waherddid iddynt yr arferion astrologaidd a wnai'r Cenhedloedd yn gyffredin o

† Dr. Hudson a ddywed i ni yma, fod y ddefod o oreuro cyrn yr ychain hynny a fyddai i'w haberthu, yn beth adnabyddus, yng ngwaith beirdd ac areithwyr cenhedlig.

‡ Yr hanes yma yn Josephus, ddarfod perswadio yr Antiochus hwn, er yn ofer, i beidio gwneud heddwch â'r Iuddewon, ond i'w torri ymaith yn llwyr; a gadarnheir yn gyflawn gan Diodorus Siculus, yn nhalfyriadau Photius, allan o'i XXXIV llyfr.

iad. Un o'r gwŷr hyn yn wystlon ydoedd frawd Hyrcanus. Ond er hynny efe a dorrodd i lawr y rhagfurian amddiffynnol oedd yn amgylchu 'r ddinas. Ac ar yr ammodau hyn Antiochus a gododd y gwarchae, ac a ymadawodd ymaith.

Yn awr, Hyrcanus a * agorodd feddrod Dafydd; yr hwn oedd yn ei ddiwedd yn rhagori ar bob brenhinoedd eraill mewn cyfoeth; ac a gymmerodd allan o hono dair mil o dalentau. Efe hefyd oedd y cyntaf o'r Iuddewon a ddarfu, trwy orphwys ar y cyfoeth hwn, gynnal milwyr tramor. Efe hefyd a wnaeth gyngrair o gyfeillgarwch, a chydamddiffyniad ag Antiochus; gan wneud derbyniad o hono i'r ddinas, ac a'i diwallodd â pha beth bynnag yr oedd ei fyddin yn ddiffygiol o hono mewn helaethrwydd mawr. Ac a gychwynnodd gyd ag ef pan wnaeth ymgyrch yn erbyn y Parthiaid. O'r hyn Nicolaus o Damascus sydd yn dyst trosom ni: yr hwn yn ei hanes sydd yn ysgrifennu fel hyn, "Wedi i Antiochus gyfodi cof-nod o oruchafiaeth wrth yr afon Lycus, yn ei fuddugoliaeth ar Indates, blaenor byddin y Parthiaid, efe a arhosodd yno ddeuddydd. Hyn ydoedd ar ddymuniad Hyrcanus yr Iuddew, o herwydd ei bod yn fath o ŵyl, ac a darddodd oddiwrth eu hynafiaid; pa ryw bryd ni chaniattäi cyfraith yr Iuddewon iddynt drafaelu." Ac ni lefarodd ar gam pan ddywedodd hynny: canys yr ŵyl honno, ag a alwn ni Pentecost, a ddigwyddodd syrthio yr amser hwnnw ar y dydd nesaf i'r Sabboth. Ac nid yw †gyfreithlon i ni deithio ar ddydd Sabboth, nac ar ddydd gŵyl arall. Ond pan ymgyssylltodd Antiochus mewn brwydr âg Arsaces, brenin Parthia, efe a gollodd ran fawr o'i fyddin, ac a laddwyd ei hun. A'i frawd Demetrius a'i dilynodd yn llywodraethiad teyrnas Syria, trwy ganiattâd Arsaces, yr hwn a'i rhyddhaodd o'i gaethiwed, yr un amser ag y goresgynnodd Antiochus Parthia.

## PENNOD IX.

*Am ymgyrch Hyrcanus yn erbyn Syria; a chyflawniad ei Gyngrair â'r Rhufeiniaid. Hefyd am farwolaeth y Brenin Demetrius ac Alexander.*

PAN glybu Hyrcanus am farwolaeth Alexander, ‡ efe yn y cyfamser a wnaeth ymgyrch yn erbyn dinasoedd Syria; § gan ddisgwyl eu cael hwy heb ryfelwyr ynddynt, a'r cyfryw ag a allai eu hamddiffyn. Pa fodd bynnag, ni bu gynt na'r chweched mis cyn iddo gymmeryd Medeba, a hynny nid heb lawer o flinder i'w fyddin. Ar ol hyn efe a gymmerodd Samega, a'r lleoedd cymmydogaethol. Ac heb law y rhai hyn Shechem, a Gerizzim, a chenedl y Cutheaid, y rhai a breswylient y deml ag oedd yn tebygu i'r deml honno yn Jerusalem: a'r hon a ganiattaodd Alexander i Sanbalat, blaenor ei fyddin, ei hadeiladu er mwyn Manasseh, yr hwn oedd fab-ynghyfraith i Jadua yr archoffeiriad, fel yr adroddasom o'r blaen. ‖ Yr hon deml yn awr a adawyd,¶ ym mhen y ddau can mlynedd ar ol ei hadeiladu. Hyrcanus hefyd a gymmerodd Dora, a Marisal, dinasoedd yn Idumea: a chaniattaodd iddynt aros yn y wlad honno, os arferent ddefod yr enwaediad, a gwneuthur defnydd o gyfreithiau yr Iuddewon. Ac yr oeddynt gymmaint yn ewyllysio trigo yn ngwlad eu hynafiaid, fel yr ymostyngasant.**

* Gwel y nôd ar Llyfr VII pen. 15.

† Nid oedd yr Iuddewon i deithio ar y dydd Sabboth, neu ar ryw ŵyl arbennig, gydraddol â'r Sabboth, ddim ymhellach na thaith dydd Sabboth, neu 2000 o gufyddau. Gwel y nod ar XX. 8.

‡ Bl. 130.

§ Y rhai hynny o fewn terfynau Judea.

‖ Gwel Llyfr XI pen 8.

¶ Yr oedd yn union 202 o flynyddau; sef, o'r Fl. 332 hyd y Fl. 130 C. C.

** Yr hanes yma am yr Idumeaid yn gwneud derbyniad o'r enwaediad, a'r holl gyfraith Iuddewig, o'r amser hwn, neu o ddyddiau Hyrcanus, a gadarnheir trwy eu hanesion canlynol: gwel XIV. 8. XV. 7. XVII. 12. Am y Rhyf. II. 3. IV. 4. Hyn, yn ol tyb Josephus, a'u gwnaeth yn broselytiaid cyfreithlon, neu yn hollol Iuddewon; megis yma a mannau eraill, XIV. 8. Felly Dio, XXXVII. t. d. 41. Pa fodd bynnag, Antigonus, gelyn Herod, er tarddu o Herod oddiwrth y fath broselyt o gyfiawnder tros amryw genhedlaethau, ni chaniatta ei fod yn rhagor na hanner Iuddew, XIV. 15. Ond etto, cymmerwch allan o'r Deon Prideaux, wrth y flwyddyn 129, eirian Ammonius, ag sy'n hollol gadarnhau yr hanes hwn o'r Idumeaid yn Josephus. "Yr Iuddewon," eb efe, "ydynt y fath wrth naturiaeth, ac o'r dechreuad: pan nad oedd yr Idumeaid yn Iuddewon o'r dechreu, ond Phœniciaid a Syriaid. Ond yn ol hynny wedi eu darostwng gan yr Iuddewon, a'u cymmell i enwaedu arnynt, ac i uno yn un genedl, a bod yn ddarostyngedig i'r un cyfreithiau, hwy a alwyd yn Iuddewon." Dio hefyd a ddywed, fel y mae y Deon Prideaux yn ei goffâu, o'r llyfr XXXVI. t. d. 37. "Y wlad honno a elwir Judea, a'r bobl yn Iuddewon. A'r enw hwn a roddir hefyd i gynnifer eraill ag a goffeidio eu crefydd, er eu bod o genedl arall." Ond yna ar ba sail y darfu i lywodraethwr mor dda a Hyrcanus gymmeryd arno gymmell yr Idumeaid i fod yn Iuddewon neu adael eu gwlad, sydd yn haeddu ei ddwfn ystyried. Hyn, fel yr wyf yn tybied oedd o herwydd eu gyrru allan er's hir amser o wlad Edom, ac iddynt oddiweddyd, a meddiannu rhandiroedd llwyth Simeon, a holl

Ar ba amser, gan hynny, y daeth hyn o ran iddynt; fel nad oeddynt, yn ol hynny, amgen nag Iuddewon.

Ond Hyrcanus yr archoffeiriad oedd yn ewyllysio adnewyddu y cyngrair hwnnw o gymdeithasrwydd oedd rhyngddynt â'r Rhufeiniaid. Yn ganlynol, efe a anfonodd gennadwyr* attynt. Ac wedi derbyn ei epistol gan y senedd, hwy a wnaethant gyngrair o gymdeithasrwydd â hwynt, yn ol y drefn ganlynol:

"Fanius, mab Marcus, brawdwr, a gynnullodd ynghyd y senedd, yr wythfed dydd cyn yr ides yn Chwefror, i'r senedd-dŷ; pan oedd Lucius Manlius, mab Lucius o'r llwyth Mentine; a Caius Sempronius, mab Caius, o'r llwyth Falernian, yn bresenol. Yr achos ydoedd cennadwyr, a ddanfonwyd gan † bobl yr Iuddewon, Simon, mab Dositheus; Apollonius, mab Alexander; a Diodorus, mab Jason, y rhai oeddynt ddynion da a rhinweddol, a chanddynt ryw beth i'w osod ger bron ynghylch cyngrair o gyfeillgarwch a chyd-amddiffyniad, ag oedd wedi ei sefydlu rhyngddynt hwy a'r Rhufeiniaid; ac ynghylch achosion cyhoeddus eraill. Y rhai a ddeisyfiasant fod i Joppa, a'r porthladdoedd, a Gazara, a ffynhonnau'r Iorddonen, a'r amrywiol ddinasoedd eraill, a gwledydd o'r eiddynt hwy, y rhai a gymmerasai Antiochus oddiarnynt mewn rhyfel, yn wrthwyneb i orchymmyn y senedd, gael eu hadferyd iddynt: ac na fyddai gyfreithlon i luoedd y brenin fyned trwy eu gwlad hwynt; a gwledydd y rhai sy'n ddarostyngedig iddynt: ac i bob ymosodiadau a wnaethai Antiochus yn oed amser y rhyfel, heb gydsyniad y senedd, gael ei ddiddymmu: a bod iddynt hwy anfon cennadwyr, y rhai a gymmerent ofal fod i adferiad gael ei wneuthur iddynt; a bod iddynt gyfrif gwerth y wlad a ddifrodasant yn amser rhyfel; a chaniattau o honynt iddynt lythyrau amddiffynniad at y brenhinoedd, a phobl ryddion, ymherthynas i lonyddwch eu dychweliad adref. Gorchymmynwyd, gan hynny, ymherthynas i'r pyngciau hyn, i adnewyddu eu cyngrair o gyweithasrwydd a chyd-amddiffyniad â'r gwŷr da hyn, y rhai a ddanfonwyd gan bobl dda a chyfeillgar."

Ond am y llythyrau a ddymunwyd ganddynt, eu hatteb oedd, yr ymgynghorai y senedd ymherthynas i'r achos hwnnw, pan roddai eu hachosion eu hunain gennad iddynt: ac yr ymdrechent, yn yr amser a ddeuai, na fyddai i'r cyffelyb niweid gael ei wneud iddynt; ac y byddai i'w prætor (brawdwr) Fanius, roddi arian iddynt i atteb y draul o'u dychweliad adref. A'r modd hwn y darfu Fanius ollwng ymaith y cennadwyr Iuddewig, gan eu diwallu ag arian o'r drysorfa gyffredin; ac a draddododd orchymmyn y senedd i'w cyfarwyddwyr, fel y cymmerid gofal am eu dychweliad adref mewn diogelwch.

A dyma oedd sefyllfa achosion Hyrcanus yr archoffeiriad. Ond y brenin Demetrius, yr hwn oedd yn amcanu gwneuthur rhyfel yn erbyn Hyrcanus, ni chafodd gyfleusdra i hynny, pan oedd y Syriaid a'r milwyr yn angharedig iddo, o herwydd ei fod yn ddyn drwg. A phan anfonasant hwy at Ptolemy Physcon, ar fod iddo anfon attynt un o deulu Seleucus, mewn trefn i gymmeryd meddiant o'r deyrnas; a darfod iddo ef anfon iddynt Alexander, yr hwn a elwid Sebina, gyd â byddin, a bod brwydr rhyngddynt, Demetrius a orchfygwyd, ac a ffodd at Cleopatra ei wraig i Ptolemais; ond ei wraig ni fynnai wneuthur derbyniad o hono. Efe a aeth oddi yno i Tyre, ac yno y daliwyd ef; ‡ wedi iddo ddioddef llawer gan ei elynion, efe a laddwyd ganddynt hwy. Felly Alexander a gymmerodd y deyrnas, ac a wnaeth gyngrair â Hyrcanus. Etto yn ol hynny pan ymladdodd âg Antiochus,

barthau dehenol llwyth Judah; yr hon oedd neilldnol etifeddiaeth addolwyr y gwir Dduw, heb ddim eilun-addoliaeth; fel y gall y darllennydd ddysgu oddiwrth Reland, Palestin. Rhan I. t. d. 154, 305, ac oddiwrth Prid. yn y blynyddoedd 740 a 165. Ac nid wyf yn cofio i'r fath drais gael ei arfer ganddo ef, na neb o'i ragflaenwyr, ag unrhyw wlad oedd heb fod yn rhan o'r tir addawedig hwnnw: er i'r holl frenhinoedd ar ei ol ei hestyn hyd at eu holl fuddugoliaethau o fewn neu allan o dir yr addewid hwnnw. Gwel Prid. ar y flwyddyn 106, a Hynaf. XIII. 15.

* Bl. 128.

† Yn y gorchymmyn hwn o eiddo seneddwyr Rhufain, fe ymddengys fod y cennadwyr hyn yn cael eu hanfon oddiwrth bobl yr Iuddewon, yn gystal ag oddiwrth eu tywysog neu archoffeiriad, Hyrcanus.

‡ Yr adroddiad hwn, am ddioddefiad Demetrius mewn llawer o bethau gan ei elynion, cyn ei farwolaeth, a nodir yma gan Dr. Hudson, ei fod yn anghyttuno â'r cyfrif a rydd Trogus Pompeius yn Justin, ac â Porphyry. Pa un ai Josephus neu'r awdwyr hyn oedd yn camsyniad yma ni ellir yn awr ei wybod. Ond os oedd hyn yn rhan o Groniclau Ioan Hyrcanus, tystiolaeth awdurdodol a chydoesol, fel yr ymddengys ei fod, nid ellir ammau na ddylai hanes Josephus gael y blaenoriaeth.

mab Demetrius, yr hwn a elwid Grypus, efe hefyd a fuddugoliaethwyd arno, ac a laddwyd.*

## PENNOD. X.

*Am yr amrafael rhwng Antiochus Grypus, ac Antiochus Cyzicenus, ymherthynas i'r deyrnas. Hyrcanus yn cymmeryd ac yn dadymchwel Samaria; ac yn ol hynny yn ymgyssylltu ei hun â sect neu blaid y Saduceaid.*

WEDI i Antiochus gymmeryd y deyrnas, efe a ofnodd wneud rhyfel yn erbyn Judea, o herwydd iddo glywed fod ei frawd, o'r un fam, yr hwn hefyd a elwid Antiochus, yn cyfodi byddin yn ei erbyn allan o Cyzicum. Felly efe a arhosodd yn ei wlad ei hun; gan ymroi i barotoi ei hunan erbyn yr ymosodiad a ddisgwyliodd oddiwrth ei frawd, yr hwn a elwid Cyzicenus; o herwydd ei ddwyn i fynu yn y ddinas honno. Efe ydoedd fab yr Antiochus a elwid Soter, yr hwn a fu farw yn Parthia. Efe hefyd ydoedd frawd Demetrius, tad Grypus. Canys fe ddigwyddodd felly, fod yr un a'r unrhyw Cleopatra wedi ei phriodi â dau, y rhai oeddynt frodyr: fel yr † adroddasom mewn lle arall. Ond Antiochus Cyzicenus, gan ddyfod o Syria, a barhaodd amryw flynyddau mewn rhyfel â'i frawd. Yn awr, yr oedd Hyrcanus yn byw mewn heddwch tros yr holl amser hwn. Canys ar ol marw Antiochus, efe a ‡ drodd oddiwrth y Macedoniaid; ac ni wnaeth yn hwy ddim cyfrif o honynt, fel un o'u deiliaid, neu eu cyfaill. Ond ei achosion oeddynt mewn amgylchiad tra chynnyddfawr a blodeuog yn amser Alexander Zebina; ac yn enwedig tan y brodyr hyn. Canys y rhyfel oedd rhyngddynt hwy â'u gilydd a roddodd achlysur i Hyrcanus i fwynhau llonyddwch yn Judea, fel y casglodd ynghyd fesur aneirif o arian. Pa fodd bynnag, pan welodd fod Antiochus Cyzicenus wedi tlodi ei wlad, yna efe a ddangosodd yn amlwg yr hyn yr oedd yn ei feddwl. A phan welodd fod Antiochus yn ymddifad o gynnorthwy o'r Aipht, a'i fod ef a'i frawd yn ddrwg eu cyflwr trwy'r ymdrechiadau oedd rhyngddynt â'u gilydd, efe a'u dirmygodd bob un.

Felly efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Samaria, yr hon oedd ddinas dra chadarn: am enw presennol pa un, Sabaste, a'i hail-adeiladaeth gan Herod, nyni a lefarwn mewn amser priod. Ond efe a ymosododd i'w herbyn hi, ac a warchaeodd arni gyd â llawer o lafur. Canys yr oedd efe yn ddig wrth y Samariaid, oblegid y niweid a wnaethant i bobl Marissa, trefedigion yr Iuddewon, a chyngreirwyr â hwynt; a hynny trwy gydsyniad brenhinoedd Syria. Wedi iddo gan hynny wneuthur ffos ddofn, ac adeiladu mur deublyg o gwmpas y ddinas, pa un oedd ddeugain stâd o hŷd; efe a osododd ei feibion Antigonus ac Aristobulus yn olygwŷr ar y cynllwyn. Hyn a ddygodd y Samariaid i'r fath gyfyngder mawr trwy newyn, fel y gorfu arnynt ymborthi ar yr hyn nid oeddid arferol; a galw am Antiochus Cyzicenus yn gynnorthwy iddynt. Yn ganlynol, efe a ddaeth i'w hamddiffyn hwynt; ond a gurwyd ymaith gan Aristobulus: ac wedi ei erlid gan y ddau frodyr cyn belled a Scythopolis, efe a ddiangodd ymaith. Felly hwy a ddychwelasant i Samaria, ac a'u cauasant i fynu drachefn y tu fewn i'r caerau, nes gorfod arnynt drachefn anfon am yr un Antiochus i'w cynnorthwyo yr ail waith. Efe y pryd hwnnw a gafodd ynghylch chwe mil o wŷr oddiwrth Ptolemy Lathyrus, y rhai a ddanfonwyd iddynt heb gydsyniad ei fam, yr hon cyn hynny, mewn ystyr, a'i troisai allan o'r llywodraeth. Antiochus, gyd â'r Aiphtiaid hyn, ar y cyntaf a oresgynnodd ac a ddifrododd wlad Hyrcanus, mewn dull o yspeilio; canys ni feiddiai ei gyfarfod yn gyhoeddus i ymladd ag ef, megis heb fod ganddo fyddin ddigonol i'r pwrpas hwnnw: ond yn unig trwy ddychymmygu wrth ddrygu ei wlad y gorfyddai i Hyrcanus adael y cynllwyn ar Samaria. Ond o herwydd iddo syrthio i faglau, a cholli llawer o'i filwyr, efe a aeth ymaith i Tripoli, wedi gorchymmyn dwyn y rhyfel ym mlaen yn erbyn yr Iuddewon, i Callimander ac Epicrates.

Ond Callimander a oddiweddodd y gelyn yn

* Bl. 122. † Gwel Pen. 7.

‡ Y deon Prideaux sy'n gwneuthur sulw oddiwrth y flwyddyn 130, fod Justin, yn gyttûn â Josephus, yn dywedyd, "Yr oedd awdurdod yr Iuddewon wedi tyfu yn awr i'r fath raddau, fel ar ol yr Antiochus hwn, na fynnent un brenin Macedoniaidd arnynt; a gosod o honynt i fynu lywodraeth o'r eiddynt eu hun; a blino Syria â rhyfeloedd mawrion."

rhy fyrbwyll, ac a ddodwyd i ffoi, wedi ei orchfygu yn ebrwydd. Ac am Epicrates, yr oedd yn caru arian gymmaint, fel y traddododd Scythopolis, a lleoedd eraill cyfagos iddi, i'r Iuddewon. Ond ni allodd wneud iddynt roddi i fynu warchae ar Samaria. Ac wedi i Hyrcanus gymmeryd y ddinas hono; ar ol blwyddyn o gynllwyn, efe a'i llwyr ddadymchwelodd; ac a ddygodd ffrydiau o ddwfr trwyddi i'w boddi hi. Canys efe a gloddiodd y fath wagder yn y ddaear, trwy'r lle, fel y rhedai y dwfr tani. Ië, efe a symmudodd y nodau ag oedd yn dangos fod y fath ddinas yno. Yn awr, fe adroddir peth tra hynod ynghylch yr archoffeiriad hwn Hyrcanus; y modd y daeth Duw i ymddiddan ag ef. Canys hwy a ddywedant ddigwydd yr un dydd ag yr oedd ei feibion yn ymladd âg Antiochus Cyzicenus, ei fod ei hunan yn y deml, fel archoffeiriad, yn offrymmu arogldarth; a chlywed o hono lais * ag oedd yn hyspysu iddo, ddarfod y pryd hynny orchfygu Antiochus gan ei feibion. A hyn a dystiodd efe yn gyhoeddus o flaen yr holl liaws, ar ei ddyfodiad allan o'r deml: yr hyn yn ganlynol a brofodd yn wir.

Yn awr, fe ddigwyddodd yn yr amser hwn, nid yn unig yr Iuddewon yn Jerusalem a Judea, fod mewn cyflwr llwyddiannus; ond y rhai o honynt hefyd oedd yn yr Aipht a Cyprus. Canys Cleopatra y frenhines oedd mewn amrafael â'i mab Ptolemy Lathyrus; ac a appwyntiodd yn flaenoriaid i'w byddin Chelcias ac Ananias, meibion yr Onias hwnnw yn llywodraeth Heliopolis, tebyg i'r un hynny yn Jerusalem, fel yr adroddasom mewn lle arall.† Cleopatra a ymddiriedodd i'r gwŷr hyn gyd â'i byddin; ac ni wnaeth ddim heb eu cyngor hwynt, fel y tystia Strabo ‡ o Cappadocia, lle y dywed fel hyn: "Yn awr, y rhan fwyaf o'r rhai a ddaeth i Cyprus gyd â ni, a'r rhai a ddanfonwyd yno ar ol hynny, a droisant yn ebrwydd at Ptolemy. Yn unig y rhai a elwid plaid Onias, a hwy yn Iuddewon, a arosasant yn ffyddlon; o herwydd eu cydwladwyr Chelcias ac Ananias oeddynt yn y ffafr fwyaf gyd â'r frenhines."

Yr amgylchiad llwyddiannus yma o achosion tymhorol, pa fodd bynnag, a annogodd yr Iuddewon i genfigennu tu ag at Hyrcanus: ond y rhai oedd o'r duedd waethaf tu ag atto oedd y Phariseaid,§ y rhai ydynt un o bleidiau yr Iuddewon, fel y sylwiasom yn barod.‖ Y rhai sydd a chymmaint awdurdod ganddynt ar y lliaws, fel pan lefaront un peth yn erbyn y brenin, neu yn erbyn yr archoffeiriad, fe eu credir yn y fan. Yn awr, Hyrcanus oedd ddisgybl o'r eiddynt hwy, ac a gerid yn fawr ganddynt. A phan wahoddodd hwynt unwaith i wledd, ac a'u croesawodd yn dra charedig; pan ganfu hwynt mewn tymmer dda, efe a ddechreuodd ddywedyd wrthynt, y gwyddent ei fod yn ewyllysio bod yn ddyn cyfiawn, a gwneuthur pob peth trwy'r hyn y gallai ryngu bodd Duw; yr hyn yr oedd y Phariseaid yn ei broffesu hefyd. Pa fodd bynnag, efe a ddymunodd, os gwelent ef yn troseddu mewn un pwngc, ac yn myned allan o'r wir ffordd, y galwent ef yn ol, a'i geryddu. Ar yr achos hwn hwy a dystiasant ei fod yn llwyr rinweddol; wrth ba ryw gymmeradwyad yr oedd yn boddloni yn fawr. Ond etto yr oedd un o'i wahoddedigion, enw yr hwn oedd Eleazar, ¶ o dymmer genfigennus, ac yn

* Yr oracl, neu attebfa'r Urim. Gwel y nód ar Llyfr III. pen. 8.

† Llyfr XII. pen. 9.

‡ Gallwn sylwi yma, am hwn a naw ychwaneg o dystiolaethau Josephus allan o Strabo, nad ydynt yn awr mewn bod: ie, nad oes ychwaneg nac un o'r deg tystiolaethau allan o hono ef yn awr i'w cael; yr hwn a gesglir allan o'i ddarluniad o'r ddaear. Yr achos sydd eglur; mai er bod darluniadau Strabo yn aros; etto fod eu holl ysgrifenadau hanesiol wedi myned yng ngholl. Gwel Fabricius am Strabo, Biblioth, Græc. IV. 1,7.

§ Dechreuad y Saduceaid, fel plaid hynodol ym mysg yr Iuddewon, ac efe yn gynnwysedig yn hon, a'r ddwy ddosparth ganlynol, cymmerwch nod y Deon Prideaux ynghylch eu hymddangosiad cyhoeddus gyntaf, yr hyn wyf yn meddwl ei fod yn wir: "Hyrcanus," eb efe, "a aeth trosodd at blaid y Saduceaid; hynny yw, trwy gofleidio eu hathrawiaeth yn erbyn traddodiadau yr hynafiaid, a chwanegasid at y gyfraith 'sgrifenedig, a'u harddel o gydradd awdurdod â hi: ond nid eu hathrawiaeth yn erbyn yr adgyfodiad, a chyflwr dyn mewn byd arall. Canys ni ellir meddwl hyn am ŵr mor dda a chyfiawn ag oedd Ioan Hyrcanus, fel y dywed rhai. Y mae'n debygol nad oedd y Saduceaid y pryd hyn wedi myned ymhellach yn athrawiaeth y sect honno, nac i wadu holl draddodiadau an-sgrifenedig, y rhai oedd y Phariseaid mor hoff o honynt. Canys nid yw Josephus yn crybwyll un gwahaniaeth arall y pryd hyn rhyngddynt. Ac nid yw yn dywedyd, ddarfod i Hyrcanus fyned trosodd at y Saduceaid mewn un peth neillduol arall, nag yn niddymiad holl draddodiadau gosodedigaethol y Phariseaid; y rhai ag oedd ein Hiachawdwr yn eu beio, yn gystal â hwynt-hwy.

‖ Pen. 5.

¶ Yr enllib hwn a darddodd oddiwrth Pharisead, ac a gadwyd i fynu gan eu dilynwyr, y Rabbiniaid, hyd yr oesoedd diweddaf hyn. Canys y mae Dr. Hudson yn sicrhau i ni, fod David Gauz, yn ei amseryddiaeth, S. Pr. t. d. 77, ynghyfieithiad Vorstius, yn adrodd ddarfod i fam Hyrcanus gael ei chymmeryd yn gaeth yn mynydd Modiith. Gwel Pen. 13, a Reland yn Palestin. t. d. 901.

hoffi bod yn ymrysongar. Y gwr hwn a ddywedodd, "Gan dy fod yn chwennych gwybod y gwir, ac os ydwyt gyfiawn mewn gwirionedd, gosod heibio dy archoffeiriadaeth, a boddlona dy hun ar lywodraeth dymhorol y bobl." A phan ewyllysiodd wybod am ba achos y dylai roddi heibio ei archoffeiriadaeth? Y llall a attebodd, "Nyni a glywsom gan hen wŷr fod dy fam yn gaeth-forwyn tan deyrnasiad Antiochus Epiphanes." Yr hanes yma ydoedd anwir: a Hyrcanus a'r holl Phariseaid oeddynt a digofaint mawr yn ei erbyn.

Yn awr, yr oedd yn bresennol un Jonathan, cyfaill mawr i Hyrcanus, ond o sect y Saduceaid, tybiau pa rai ydynt yn hollol wrthwyneb i eiddo'r Phariseaid. Efe a ddywedodd wrth Hyrcanus, ddarfod i Eleazar fwrw'r fath waradwydd arno yn ol barn gyffredin yr holl Phariseaid; ac y gwnaed hyn yn amlwg os na fyddai iddo ond gofyn y cwestiwn, pa gospedigaeth debygent hwy, yr oedd y dyn hwnnw yn ei haeddu? Oblegid y gallai hyderu arno, na osodasid y gwaradwydd arno gyd â'u boddlonrwydd hwynt, os oeddynt am ei gospi fel yr oedd ei fai yn haeddu. Felly y Phariseaid a attebasant ei fod yn haeddu gwialenodiau a rhwymau: ond nad oedd yn ymddangos yn gyfiawn i gospi gwaradwyddiadau â marwolaeth. Ac yn wir y Phariseaid, ïe ar achosion eraill, nid y'nt dueddol i arfer llymdra mewn cospedigaethau. Wrth yr ymadrodd esmwyth yma yr oedd Hyrcanus yn dra digllon, ac a feddyliodd foddloni o honynt i'r dyn hwn ei waradwyddo. Y Jonathan hwn ydoedd yr un a'i cythruddodd, ac a'i gogwyddodd mor bell fel y gadawodd blaid y Phariseaid, a diddymmu y gorchymmynion a osodasent ar y bobl; a chospi y rhai na wnai sulw o honynt. Oddiar y gwreiddyn hwn y cyfododd y casineb a gyfarfu efe a'i feibion oddiwrth y lliaws. Ond am y matterion hyn ni a lefarwn yn ol llaw. Y peth a ewyllysiwn yn awr ei egluro yw hyn, ddarfod i'r Phariseaid draddodi i'r bobl lawer o reolau ol-yn-ol oddiwrth eu tadau, heb fod yn ysgrifenedig ynghyfraith Moses; ac am y rheswm hwnnw yr ydoedd, ddarfod i'r Saduceaid eu gwrthod hwynt; gan ddywedyd, y dylem gyfrif ein rhwymedigaethau i ddilyn y rheolau hynny ag sydd yn y gair 'sgrifenedig; ac nad ydym i wneud sulw o draddodiadau tarddedig oddiwrth ein hynafiaid. Ac o achos y pethau hyn y bu'r dadleuon mawr a'r anghydfod a gyfododd yn eu mysg hwynt. Nid yw'r Saduceaid yn abl perswadio neb ond y cyfoethogion; eithr y werin-bobl ni fynnant gyd-uno â hwynt; ond y Phariseaid sydd â'r lliaws o'u hochr. Ond am y ddwy sect hon, a'r un hynny o Esseniaid, mi draethais yn gyflawn yn * ail llyfr yr achosion Iuddewig.

Wedi i Hyrcanus wneuthur diwedd ar yr ymryson hwn, efe a fu fyw yn ddedwydd; gan weini'r llywodraeth yn y modd goreu tros † un ar ddeg ar hugain o flynyddau; ac yna efe a fu ‡ farw: gan adael ar ei ol bump o feibion. Efe a gyfrifwyd yn deilwng gan Dduw o dair rhagorfraint fwyaf: llywodraethiad ei genedl, urddasrwydd yr archoffeiriadaeth, a phrophwydoliaeth. Canys yr oedd Duw gyd ag ef, yn ei alluogi i wybod am bethau i ddyfod; ac yn enwedig i ragddywedyd hyn, am ei ddau fab hynaf, na byddai iddynt hir barhau yn llywodraethiad yr achos cyffredin. Eu hymddygiad annedwydd sydd gennym yn nesaf i'w ddisgrifio: fel y gwelom oddi yno mor bell oeddynt oddiwrth y dedwyddwch a fwynhaodd eu tad.

---

* Gwel am y Rhyf. Llyfr II. pen. 8.

† O'r Fl. 136 hyd y Fl. 107 C. C.

‡ Yma y diwedda archoffeiriadaeth, a bywyd y gwr odiaethol hwn, Ioan Hyrcanus; ac ynghyd ag ef Llywodraeth Ddwyfol y genedl Iuddewig; a chyd ag ef ei gydweithydd, yr oracl trwy Urim. Yn awr y canlyn anghyssegredig a gorthrymmus unbennaeth Iuddewig. Yn gyntaf am yr Asmoneaid, neu Maccabeaid; ac yna am Herod y mwyaf, yr Idumead; hyd ddyfodiad y Messiah. Gwelwch y nôd ar III. 8. Clywch dystiolaeth Strabo ar yr achos hwn, XVI. t. d. 761, 762. "Y rhai," eb efe, "a ddilynasant Moses, a barhausant tros amser yn ddifrifol mewn gweithredoedd o gyfiawnder a duwioldeb. Ond ym mhen amser, daeth eraill ac a gymmerasant arnynt yr archoffeiriadaeth; yn gyntaf yn rhai ffurf-grefyddol, ac yn ol hynny yn orthrymwyr.---Y fath hynny o brophwyd oedd Moses, a'r rhai a'i dilynasant: yn dechreu mewn ffordd na ellid ei beio, ac yn diweddu er gwaeth. A phan ymddangosodd yn amlwg fod y llywodraeth wedi dyfod yn orthrymmus, Alexander oedd y cyntaf a osododd ei hun i fynu yn frenin, yn lle offeiriad; a'i feibion oedd Hyrcanus ac Aristobulus." Hyn sydd yn berffaith gyttuno â Josephus; oddigerth fod Strabo heb sôn am y brenin cyntaf Aristobulus; yr hwn wedi teyrnasu yn unig un flwyddyn, ni ymddengys iddo ond prin wybod am dano. Ac yn wir nid yw Aristobulus, mab Alexander, yn cymmeryd arno fod enw brenin yn cael ei arfer, cyn i'w dad Alexander ei gymmeryd ei hun, XIV. 3. Gwel hefyd Pen. 12, yr hyn sy'n ffafro Strabo hefyd. Ac yn wir, os gallwn farnu oddiwrth wahanol ddull yr Iuddewon Aiphtaidd, tan archoffeiriaid, ac o'r Iuddewon Palestinaidd tan frenhinoedd yn y ddwy ganrhif nesaf, da y gallwn feddwl fod y Sechina dwyfol wedi symmud i'r Aipht; a bod yr addolwyr yn nheml Onias yn well dynion na'r rhai oedd yn nheml Jerasalem.

## PENNOD XI.

*Am Aristobulus yn meddiannu llywodraeth Judea; yn rhyfygu cymmeryd atto anrhydedd Brenhinol; ei greulondeb tu ag at ei Fam a'i Frodyr; a'i farwolaeth druenus ei hun.*

WEDI marw Hyrcanus, ei fab hynaf, Aristobulus, gyd â bwriad i newid y llywodraeth yn deyrnas, yn gyntaf oll a ddododd y goron-bleth ar ei ben, ym mhen pedwar cant ac un â phedwar ugain o flynyddau a thri mis, ar ol i'r bobl gael eu gwaredu o'r caethiwed Babilonaidd, a dychwelyd o honynt i'w gwlad eu hunain drachefn. Yr Aristobulus hwn a garai ei frawd nesaf Antigonus, ac a ymddygodd tu ag atto fel ei gydradd; ond y lleill a gadwodd efe mewn rhwyman. Efe hefyd a fwriodd ei fam i garchar, o herwydd ei dadleuad ag ef ynghylch y llywodraeth. Ië, efe a aeth yn estronol tu ag at ei frawd Antigonus trwy enllib; gan ei gyfrif gyd ag eraill y rhai a laddodd efe. Etto efe a ymddangosodd megis â serchogrwydd tu ag atto, gan ei wneuthur uwchlaw eraill yn gyd-gyfrannog ag ef o'r deyrnas. Yr enllibiau hyn ar y cyntaf ni roddodd goel arnynt; mewn rhan o herwydd ei fod yn ei garu, ac felly heb sylwi ar yr hyn a ddywedid yn ei erbyn; ac hefyd o herwydd tybied o hono fod y gwaradwyddiadau yn tarddu oddi wrth genfigen yr adroddwyr. Ond wedi unwaith ddychwelyd o Antigonus oddiwrth y fyddin, a gŵyl y pebyll gerllaw, digwyddodd i Aristobulus syrthio yn glaf; ac i Antigonus fyned i fynu yn y modd mwyaf disgleirwych, gyd â'i filwyr yn eu harfau o'i amgylch, i'r deml i gadw gŵyl, ac i offrymmu gweddiau tros adferiad ei frawd. Yn awr, rhai dynion drygionus ag oedd yn ewyllysio cyfodi ymraniadau rhwng y ddau frawd, a wnaethant ddefnydd o'r ymddangosiad hwn o wychder Antigonus, a'r gweithredoedd mawrion a wnaethai, ac a aethant at y brenin, gan adrodd yn genfigennus wrtho am wychder ymddangosiad ei frawd yn yr ŵyl: gan ddadleu nad oedd yr holl amgylchiadau yma fel rhai a berthynai i berson unigol: fod y gweithredoedd hyn yn arwyddo chwennychiad o'r awdurdod frenhinol; a bod yn rhaid i'w ddyfodiad gyd â chorph cryf o filwyr arwyddo amcan i'w ladd ef: ac mai ei ffordd o ymresymmu ydoedd hyn; pa fath beth lledffol ydoedd iddo, pan allai gael teyrnasu ei hun, i'w olygu yn ffafr gael ei anrhydeddu â sefyllfa ddercbafedig islaw ei frawd.

Aristobulus a roddodd le i'r dychymmygion hyn: ond a gymmerodd ofal na roed achlysur i'w frawd feddwl am y drwg-fwriad tu ag atto; ac na pheryglai oddiwrth hynny ei ddiogelwch ei hun. Felly efe a orchymmynodd i'w warchawdlu ar iddynt ymguddio eu hunain mewn rhyw le tywyll ag ydoedd tan y ddaear; (efe ei hunan y pryd hynny oedd yn gorwedd yn y tŵr a elwid Antonia;) ac efe a orchymmynodd iddynt os deuai Antigonus i mewn atto ef yn anarfog, na chyffyrddent â neb; ond os wedi ymarfogi, ar iddynt ei ladd ef. Etto efe a anfonodd at Antigonus i ddymuno arno ddyfod yn an-arfog. Ond y frenhines, a'r rhai oedd yn un â hi mewn bradwriaeth yn erbyn Antigonus, a berswadiasant y negeseuwr i ddywedyd yn union i'r gwrthwyneb wrtho; y modd yr oedd ei frawd wedi clywed wneuthur o hono arfogaeth newydd i ryfela; ac yn dymuno ei weled ef yn yr arfogaeth honno; fel y canfyddai pa mor wŷch ydoedd. Felly Antigonus heb feddwl am ddim bradwriaeth, ond yn hyderu ar ewyllys da ei frawd, a ddaeth at Aristobulus wedi ei arfogi, fel yr arferai fod yn ei gyflawn arfogaeth, mewn trefn i ymddangos iddo ef. Ond wedi iddo ddyfod at y lle a elwid tŵr Strabo, ym mha ryw le yr oedd y dramwyfa yn dra thywyll, y gwarchawdlu a'i lladdasant ef.

Y weithred erchyll hon a ddengys nad oes dim yn gryfach na chenfigen ac enllib; ac nad oes dim mor sicr o ysgar ewyllys da a serchiadau naturiol dynion na'r nwydau hyn. Ond yma y gall un gymmeryd achlysur i ryfeddu tu ag at un Judas, yr hwn oedd o blaid yr Esseniaid, a'r hwn ni fethodd y gwir un amser yn ei ragfynegiad. Canys y gwr hwn wrth weled Antigonus yn tramwy heibio i'r deml, a lefodd allan wrth ei gymdeithion, ag oedd yn preswylio gyd ag ef fel ei ysgolheigion, mewn trefn i ddys-

gu y gelfyddyd o ragfynegi pethau i ddyfod;* "Byddai da i mi gael marw yn awr, tra y mae Antigonus etto yn fyw, a myfi wedi ei weled yn myned heibio: er rhagfynegi o honof y byddai efe farw wrth le a elwir tŵr Strabo y dydd hwn; tra etto y mae'r lle yn chwe chant o stadau o bellder, lle y rhagddywedais y lleddid ef; ac y mae rhan fawr o'r dydd eisoes wedi myned heibio; felly yr wyf mewn perygl o ymddangos yn gau-brophwyd." Fel yr oedd yn dywedyd hyn gyd â llais trist, y newydd a ddaeth yno fod Antigonus wedi ei ladd, mewn lle o tan y ddaear, a elwir tŵr Strabo: neu o'r un enw a'r Cesarea hwnnw sydd yn sefyll wrth y môr.

Ond Aristobulus a edifarhaodd yn ebrwydd oblegid y lladdfa yma o'i frawd; am ba achos ei glefyd a gynnyddodd arno, ac efe a aflonyddwyd yn ei feddwl, oblegid euogrwydd ei ddrwg-weithredoedd; fel y llygrodd ei ymysgaroedd trwy boenau annioddefol, a chwydfa gwaed. Ar ba amser un o'i wasanaeth-ddynion ag oedd yn gwylio arno, ac yn cymmeryd ymaith y gwaed, a ddigwyddodd iddo lithro, a cholli peth o'r gwaed (wrth drefn rhagluniaeth, fel y tybiaf) ar y lle oedd ag ôl defnynnau gwaed Antigonus etto yn aros. A phan wnaethpwyd llef gan yr edrychwyr, megis pe buasai'r gweinidog yn bwrpasol wedi colli'r gwaed yn y lle hwnnw; Aristobulus a'u clybu, ac a ymofynodd pa beth oedd yr achos? Ac fel nad attebasant ef, yr ydoedd yn daerach am gael gwybod; am ei fod yn naturiol i ddynion feddwl y peth a guddir y modd hwn yn ddrwg. Felly ar ei waith yn bwgwth, ac yn gwneud iddynt lefaru, hwy o'r diwedd a gyffesasant y gwir. Ar hynny efe a dywalltodd lawer o ddagrau, tan yr aflonyddwch meddwl hwnnw oedd yn cyfodi oddiwrth y gydwybod o'r hyn a wnaethai: yna y rhoddodd drom ochenaid, ac a ddywedodd, "Ni chelir, gan hynny mi welaf, oddiwrth Dduw, y beiau echrydus ac annuwiol y bum yn euog o honynt: ond copedigaeth ddisymmwth sydd ar ddisgyn arnaf, am dywallt gwaed fy mherthynasau. Ac yn awr, O tydi fy nghorph anghywilyddgar, pa hyd yr atteli ynot enaid a ddylai farw, mewn trefn i lonyddu ysprydion fy mrawd a'm mam? Pa ham na roddi'r cwbl i fynu ar unwaith? A pha ham y rhoddaf i gerdded ddiferyn ar ol diferyn o'm gwaed, i'r rhai a lofruddiais mor greulon?" Ar ei adroddiad o'r geiriau diweddaf hyn, efe a drengodd. Yr oedd yn cael ei alw yn garwr y Groegiaid; ac a gyfrannodd amryw bethau llesol i'w wlad ei hun: gan wneud rhyfel yn erbyn Iturea, a chyssylltu rhan fawr o honi at Judea; a chymmell y trigolion, os arhosent yn y wlad honno, i enwaedu arnynt eu hunain, a byw yn ol y cyfreithiau Iuddewig. Yr ydoedd wrth natur yn ddyn hynaws, ac o gymmedroldeb mawr; fel y tystia Strabo, yn enw Timagenes, yr hwn a ddywed fel hyn, "Y gwr hwn ydoedd un o hynawsedd, ac yn wasanaethgar i'r Iuddewon: canys efe a chwanegodd iddynt ran o genedl yr Itureaid, ac a'u cyssylltodd â rhwymau yr enwaediad."

## PENNOD XII.

*Am ddyfodiad Alexander i'r llywodraeth; yn gwneud ymgyrch yn erbyn Ptolemais, a Rhyfel Ptolemy Lathyrus i'w erbyn ef.*

WEDI marw Aristobulus, ei wraig Salome, yr hon gan y Groegiaid a elwid Alexandra, a ryddhaodd ei frodyr o garchar: (Canys Aristobulus a'u cadwasant mewn rhwymau, fel y dywedasom eisoes); ac a wnaeth Alexander Janneus yn frenin, yr hwn oedd yr hynaf mewn oedran, ac yn rhagori mewn cymmedrolder. Y plentyn hwn a ddigwyddodd gael ei gashau gan ei dad cyn gynted ag y ganwyd ef; ac ni chaniatteid iddo fyth ddyfod i'w olwg ef hyd ei farwolaeth.† Yr achos o ba ryw gasineb a ddyw-

* Oddi yma yr ydym yn deall fod yr Esseniaid yn cymmeryd arnynt ddysgu rheolau, trwy ba rai y gallai dynion ragfynegi pethau i ddyfod: a darfod i'r Judas hwn, yr Esseniad, ddysgu y rheolau hynny i'w ysgolheigion. Ond pa un ai bod yr hyn a gymmerant arnynt o natur Astrologaidd neu ddewindeb; yr hyn etto yn y fath Iuddewon crefyddol, y rhai a waherddid iddynt y fath gelfyddydau, nid yw mewn un wedd yn debygol: neu i unrhyw Bath Col, a grybwyllwyd gan ddiweddar Rabbiniaid; neu ryw fodd arall, ni allaf ddywedyd. Gwel am y Rhyf. II. 8.

† Y rheswm pa ham na oddefai Hyrcanus i'w fab hwn, pa un nid oedd yn ei garu, ddyfod i Judea, ond a orchymmynodd ei ddwyn i fynu yn Galilea, a ddychymmygir y modd canlynol, gan Dr. Hudson: Am na chyfrifid Galilea yn lle mor ddedwydd, ac yn wlad o gystal triniaeth a Judea. Gwel Matth. xxvi. 73. Ioan vii. 52. Act. ii. 7. Er fod rheswm arall yn ymddangos hefyd fel y byddai ymhellach o'i olwg yn Galilea, nag a fuasai wrth fod yn Judea.

edir ei fod fel hyn. Pan oedd Hyrcanus yn caru yn bennaf ei ddau fab hynaf, Antigonus ac Aristobulus, ymddangosodd Duw iddo yn ei gwsg; â'r hwn yr ymofynnodd, pa un o'i feibion a fyddai i'w ddilyn yn y llywodraeth? A thrwy ddangos iddo wynebpryd Alexander gan Dduw; efe a ofidiwyd o herwydd fod hwnnw i feddiannu ei holl eiddo: ac a barodd ei ddwyn i fynu yn Galilea. Pa fodd bynnag, ni thwyllwyd Hyrcanus gan Dduw: canys ar ol marw Aristobulus, efe a feddiannodd y deyrnas; ac un o'i frodyr oedd yn ei chwennychu a laddwyd ganddo ef: ond y llall ag oedd yn dewis bywyd o neillduaeth a berchid ganddo.

Pan sefydlodd Alexander Janneus y llywodraeth yn y modd ag a farnodd yn oreu, efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Ptolemais. Ac wedi gorchfygu y gwŷr mewn brwydr, efe a'u cauodd i fynu yn y ddinas, gan ei hamgylchynu, a gwarchae arni hi. Canys o'r dinasoedd porthladdol nid oedd yn aros heb eu hynnill ond yn unig Ptolemais a Gaza; heblaw tŵr Strabo, a Dora, y rhai a ddelid gan y gorthrymmwr Zoilus. Yn awr, tra'r oedd Antiochus Philometor, ac Antiochus a elwid Cyzicenus, yn rhyfela â'u gilydd; a'r naill yn difetha milwyr y llall, ni allai pobl Ptolemais gael dim cynnorthwy ganddynt hwy. Ond pan gyfyngwyd arnynt trwy'r cynllwyn hwn, Zoilus yr hwn oedd yn meddiannu tŵr Strabo, a Dora, ac yn cadw lleng o filwyr, ac o herwydd yr ymryson rhwng y brenhinoedd, a arferodd ei hun yn orthrymmwr; a ddygodd ryw ychydig o gynnorthwy i bobl Ptolemais. Ac yn wir nid oedd y fath gyfeillgarwch rhwng y brenhinoedd â hwynt, ag y gallent ddisgwyl llawer o fanteision oddi wrthynt hwy. Y naill fel y llall o'r brenhinoedd hyn oeddynt mewn cyflwr o ymegnïad; y rhai yn profi eu hunain yn ddiffygiol o rym, ac etto yn gywilydd ganddynt roddi'r ymryson heibio, a'i hoedasant cyhyd ag y gallasant. Yr unig obaith a feddent oedd oddiwrth frenin yr Aipht, ac oddiwrth Ptolemy Lathyrus, yr hwn a ddaeth i Cyprus, pan yrrwyd ef o lywodraeth yr Aipht gan ei fam Cleopatra. Felly pobl Ptolemais a anfonasant at y Ptolemy Lathyrus hwn; gan ddymuno arno, fel cyngreirwr, ddyfod i'w gwaredu hwynt, tra'r oeddynt yn awr yn y fath berygl, allan o ddwylaw Alexander. A'r cennadwyr a roisant iddo le i obeithio, mai os gallai fyned ym mlaen i Syria, y cai efe bobl Gaza o du y rhai hynny o Ptolemais; ac y byddai i Zoilus, gyd â'r Sidoniaid, a llawer eraill, eu cynnorthwyo hwynt: felly yr oedd wedi ymdderchafu wrth glywed hyn; ac a geisiodd ei lynges yn barod cyn gynted ag yr oedd yn bossibl.

Yn y cyfamser, pa fodd bynnag, Demetrius, un ag oedd a dawn i berswadio dynion i wneud megis yr ewyllysiai, a blaenor ar y lliaws, a wnaeth i'r rhai o Ptolemais gyfnewid eu meddyliau, ac a ddywedodd wrthynt fod yn well iddynt redeg yr antur o fod yn ddarostyngedig i'r Iuddewon, na boddloni i gaethiwed amlwg, trwy roddi eu hunain i fynu i un meistr: ac heblaw hynny, cael nid yn unig ryfel presennol, ond i fod tan ddisgwyliad am un llawer mwy o'r Aipht. Canys ni edrychai Cleopatra heibio i fyddin a godid gan Ptolemy iddo ei hun, allan o'r gymmydogaeth; ond a ddeuai i'w herbyn â byddin liosog o'r eiddo ei hun; a hynny oblegid ei bod yn ceisio gyrru ei mab allan o Cyprus hefyd. Ac am Ptolemy, os pallai yn ei obaith, gallai gilio drachefn i Cyprus, ond y gadawid y lleoedd uchod yn y perygl mwyaf. Yn awr, Ptolemy, er clywed o hono am y cyfnewidiad a wnaid ym mhobl Ptolemais, etto efe a aeth ym mlaen â'i for-daith, ac a diriodd yn y wlad a elwid Sycamine, ac yno y gosododd ei fyddin ar lann. Y fyddin hon, yn gynnwysedig o wŷr meirch a thraed, ydoedd ddeng mil ar hugain mewn nifer, gyd â pha rai y cyrhaeddodd hyd yn agos i Ptolemais, ac a wersyllodd yno. Ond pan na ddarfu i bobl Ptolemais na derbyn y cennadwyr na rhoi gwrandawiad i'r hyn oedd ganddynt i'w draethu, yr oedd efe mewn blinder mawr o'i herwydd.

Ond wedi dyfod Zoilus a phobl Gaza atto, a dymuno ei gynnorthwy, o herwydd difrodi eu gwlad gan yr Iuddewon, a chan Alexander; Alexander a symmudodd y gwarchae rhag ofn Ptolemy. Ac wedi tynnu ymaith ei fyddin i'w

wlad ei hun, efe a arferodd gyfrwysdra yn ol hynny, trwy gymmell Cleopatra yn ddirgel i ddwyn byddin yn erbyn Ptolemy; ond yn gyhoeddus a gymmerodd arno wneuthur cyngrair o gyfeillgarwch a chyd-gynnorthwyad ag ef. A chan addaw rhoddi iddo bedwar can talent o arian; efe a ddumunodd mewn ffordd o daledigaeth, iddo gymmeryd ymaith Zoilus y gorthrymmwr, a rhoddi ei wlad i'r Iuddewon. Ar hyn Ptolemy a wnaeth y fath gyngrair o gyfeillgarwch âg Alexander, ac a ddarostyngodd Zoilus. Ond pan glybu yn ol hynny ei fod wedi danfon yn ddirgel at ei fam Cleopatra, efe a dorrodd ei gyfammod neu gyngrair ag ef, er ei gadarnhau trwy lw, ac a syrthiodd arno ef, gan osod cynllwyn i Ptolemais, o herwydd na dderbynient ef. Pa fodd bynnag, wedi gadael ei flaenoriaid gyd â rhan o'r fyddin i fyned â'r cynllwyn ym mlaen, efe a aeth ei hun yn ebrwydd gyd â'r rhan arall i ddifrodi Judea. A phan ddeallodd Alexander mai hyn ydoedd fwriad Ptolemy, efe hefyd a gafodd ynghyd ynghylch deng mil a deugain o filwyr allan o'i wlad ei hun: ïe, * fel y dywed rhai ysgrifenwyr, bedwar ugain mil. Yna efe a gymmerodd ei fyddin, ac a aeth i gyfarfod Ptolemy. Ond Ptolemy a syrthiodd ar Asochis, Dinas yn Galilea, ac a'i cymmerodd trwy drais, ar y dydd Sabboth. Ac yna efe a gymmerodd ynghylch deg mil yn gaethion, a mesur mawr o yspail arall.

Yna efe a gynnygiodd gymmeryd Sephorus, dinas heb fod neppell oddiwrth yr hon a ddifrodwyd; ond a gollodd yno lawer o'i wŷr. Etto efe a aeth y pryd hynny i ymladd ag Alexander, yr hwn a'i cyfarfu wrth afon yr Iorddonen, yn agos i ryw le a elwid Saphoth, ac a wersyllodd yn agos i'r gelyn. Yr oedd ganddo, pa fodd bynnag, wyth mil yn y rhes gyntaf, y rhai a alwodd † hecatontomachi, a chanddynt dariannau pres. Ond milwyr Ptolemy, mewn ystyr arall, oedd waelach na rhai Alexander; ac am hynny yr oeddynt yn ofni rhedeg yr antur. Ond Philostephanus, pennaeth y gwersyll, a osododd gefnogrwydd mawr ynddynt; ac a'u hannogodd i groesi yr afon oedd rhwng eu gwersylloedd. Ac ni thybiodd Alexander yn gymmwys eu lluddias i ddyfod trosodd. Canys efe a feddyliodd os ca'i y gelyn unwaith â'r afon y tu-cefn iddynt, y gallai efe yn hawsach eu cymmeryd yn garcharorion, pan na allant gilio o'r frwydr. Pan ddechreuodd yr ymladdfa, eu gweithrediad ar bob ochr oedd gyffelyb; a lladdiad mawr a fu bob tu i'r byddinoedd. Ond Alexander a fu drechaf, hyd oni ddygodd Philostephanus yn brydlon i fynu y cynnorthwyadau, i gynnal y rhai oedd ar ymroi i golli'r frwydr. Ond o herwydd nad oedd gynnorthwyon i'r rhan hynny o Iuddewon a giliasant, fe droes allan ddarfod iddynt ffoi; a'r rhai agos attynt ni chynnorthwyasant hwynt; ond hwythau hefyd a ffoisant. Pa fodd bynnag, milwyr Ptolemy a ymddygasant yn gymmwys i'r gwrthwyneb; canys hwy a ddilynasant yr Iuddewon, ac a'u lladdasant hwynt; hyd o'r diwedd nes darfod i'r rhai a'i lladdasant erlid ar eu hol, pan wnaethant iddynt oll ffoi ymaith, gan eu lladd tros gyhyd o amser, fel yr oedd eu harfau wedi pylu, a'u dwylo wedi eu llwyr flino â'r lladdfa. Canys y gair ydoedd, ddarfod lladd deng mil ar hugain o wŷr. Timagenes a ddywed eu bod yn ddeng mil a deugain. Am y gweddill o honynt, rhan a gymmerwyd yn gaethion, a'r rhan arall a ddiangasant i'w gwlad eu hunain.

Ar ol y fuddugoliaeth hon, Ptolemy a oresgynnodd yr holl wlad: a phan ddeuai'r nos, efe a lettŷai yn rhai o bentrefi Judea; lle y gorchymmynodd i'w filwyr dagu y merched a'r plant; a'u torri yn ddarnau, a'u bwrw i beiriau berwedig; ac yna llosgi eu haelodau fel aberthau. Y gorchymmyn hwn a roddwyd, fel y byddai i'r rhai a ffoisant o'r frwydr, pan ddeuent attynt, feddwl mai cannibals, neu fwyttawyr dynion oeddynt, ac ar y cyfrif hwnnw ddychrynu yn fwy rhagddynt wrth y fath olwg. Ac y mae

* Oddiwrth hwn a'r cyffelyb ymadroddion achlysurol, a grybwyllir gan Josephus, gallwn ddysgu mai lle mae llyfrau cyssgredig yr Iuddewon ynddiffygiol, fod ganddo amryw hanesion eraill y pryd hynny ar gael, ond yn awr wedi myned y'ngholl: y rhai a ddilynodd yn ffyddlon yn ei hanesiad ei hun. Ac yn wir nid oes gennym goffadwriaethau eraill o'r amseroedd hyn, ymherthynas i Judea, ag a ellir eu cydmaru â hanesion Josephus: er wedi y cyfarfyddom â darnau awdurdodol o'r fath goffadwriaethau, y maent, agos bob amser, yn cadarnhau ei hanes ef.

† Pob un yn alluog o hono ei hunan i ymladd â chant o ddynion.

Strabo a Nicolaus o Ddamascus yn cadarnhau, iddynt ymddwyn at y bobl yma yn y modd a grybwyllwyd. Ptolemy hefyd a gymmerodd Ptolemais trwy drais.

## PENNOD XIII.

*Am Ymgyrch Alexander yn erbyn Cœlesyria; ei ddinystriad o ddinas Gaza, ac amryw filoedd o Iuddewon a wrthryfelasant i'w erbyn. Hefyd ymherthynas i Antiochus Grypus, Seleucus, Antiochus Cyzicenus, Antiochus Pius, ac eraill.*

PAN welodd Cleopatra * fod ei mab wedi myned yn alluog, a darfod iddo anrheithio Judea yn ddi-wrthwynebiad, a chael o hono y ddinas Gaza tan ei awdurdod, hi ymroddodd na byddai'n hwy yn ddi-sulw o'r hyn yr oedd yn ei wneuthur, pan ddaethai'n agos hyd at ei phyrth hi: a hi a benderfynodd, gan ei fod yn awr wedi dyfod yn gadarnach nag o'r blaen, y byddai yn dra chwannog i feddiannu'r arglwyddiaeth ar yr Aiphtiaid. Ond hi yn union-gyrch a gychwynnodd i'w erbyn gyd â llynges ar hyd y môr, a byddin o wŷr traed ar dir; gan wneuthur †Chelcias ac Ananias, yr Iuddewon, yn flaenoriaid ei holl fyddin; wedi danfon y rhan fwyaf o'i chyfoeth, gyd â'i hwyrion, a'i hewyllys diweddaf i ofal gwŷr ‡ Cos. Cleopatra hefyd a orchymmynodd i'w mab Alexander hwylio gyd â llynges tros y môr i Phœnicia: ac wedi gwrthdroi o'r wlad honno, hi a ddaeth i Ptolemais: ac o herwydd na dderbyniai pobl Ptolemais hi, hi warchaeodd ar y ddinas. Ond Ptolemy a aeth allan o Syria, ac a frysiodd i'r Aipht, gan ddisgwyl ei chael yn wag o fyddinoedd, a'i chymmeryd yn fuan, er methu o hono yn ei obaith. Y pryd hwn Chelcias, un o flaenoriaid byddin Cleopatra a ddigwyddodd farw yn Cœlesyria, fel yr oedd yn erlid Ptolemy.

Pan glybu Cleopatra am y cynnygiad a wnaethai ei mab, a bod ei ymgyrch i'r Aipht yn aflwyddiannus, yn wrthwyneb i'w ddisgwyliad; hi ddanfonodd yno§ ran o'i byddin, ac a'i gyrrodd allan o'r wlad. Felly wedi ei ddychweliad o'r Aipht, efe a arhosodd tros y gauaf yn Gaza: ym mha amser Cleopatra a gymmerodd y wersyllfa oedd yn Ptolemais trwy drais, yn gystal a'r ddinas. A phan ddaeth Alexander atti fe roddodd iddi anrhegion; a'r fath nodau o barchedigaeth ag oedd weddus: tra o dan y fath drueni ag a ddioddefodd gan Ptolemy, nid oedd ganddo noddfa arall ond ei ffafr hi. Yn awr, yr ydoedd rhai o'i chyfeillion ag a'i perswadiai i orddiwes Alexander; ac i oresgyn a meddiannu'r wlad; ac nid i eistedd yn llonydd, a chanfod y fath liaws o Iuddewon dewrwych yn ddarostyngedig i un dyn. Ond cyngor Ananias oedd wrthwyneb i'r eiddynt hwy; yr hwn a ddywedodd y gwnai weithred anghyfiawn, os ymddifadai ddyn ag oedd yn heddychol â hi o'r awdurdod a berthynai iddo; a hwnnw yn un o berthynas i ni. "Canys" eb efe, "ni fynnwn dy fod heb wybod hyn, mai pa ryw anghyfiawnder bynnag a wnelych iddo, hynny a wna'r Iuddewon i ti yn elynion." Y dymuniad hwn o'r eiddo Ananias, Cleopatra a gydsyniodd ag ef; ac ni wnaeth ddim niweid i Alexander; ond a wnaeth gyngrair o gyd-gynnorthwyad ag ef, yn Scythopolis, dinas berthynol i Cœlesyria.

Felly wedi i Alexander gael ei waredu oddiwrth yr ofn yr ydoedd ynddo oblegid Ptolemy; efe yn ebrwydd a wnaeth ymgyrch yn erbyn Coelesyria. Yna efe a gymmerodd Gadara, yn ol cyullwyniad o ddeg mis. Efe hefyd a gymmerodd Amathus, amddiffynfa dra chadarn, yn perthynu i'r trigolion uwchlaw'r Iorddonen: y lle'r oedd gan Theodorus, mab Zeno, ei brifdrysor, a'r hyn a gyfrifai yn fwyaf gwerthfawr. Y Zeno hwn yn annisgwyladwy a syrthiodd ar yr Iuddewon; ac a laddodd ddeng mil o honynt; ac a oddiweddodd ddodrefn rhyfel Alexander. Etto ni ddarfu i'r anhap hwn ddychrynu Alexander; ond efe a wnaeth ymgyrch ar y rhannau arforawl o'r wlad, Raphia, ac Anthedon, (enw'r hon a ddarfu i'r brenin Herod yn ol hynny ei

* Bl. 103. † Meibion Onias y IV. yr archoffeiriad hwnnw pa un a adeiladodd y deml yn yr Aipht. Gwel Llyfr XIII. pen. 3. a 10.

‡ Y ddinas neu'r ynys hon Cos, nid yw'r un bell honno yn y môr Egean, enwog am le genedigol y clodfawr Hyppocrates; ond dinas neu ynys o'r un enw yn gyssylltiedig â'r Aipht; a grybwyllir gan Stephanus a Ptolemy, fel y mae Dr. Hudson yn hyspysu i ni. Am ba ryw Cos, a'r trysorau a ddodwyd i fynu yno gan Cleopatra, a'r Iuddewon, Gwel XIV. 7

§ Bl. 102.

chyfnewid i Agrippias,) ac a gymmerodd honno trwy drais. Ond pan welodd Alexander fod Ptolemy wedi cilio o Gaza i Cyprus, a'i fam Cleopatra wedi dychwelyd i'r Aipht, efe a dyfodd yn ddigllon wrth bobl Gaza, o herwydd iddynt wahodd Ptolemy i'w cynnorthwyo hwynt; ac efe a warchaeodd ar eu dinas, ac a anrheithiodd eu gwlad. Ond fel ag y darfu Apollodorus, blaenor byddin Gaza, syrthio ar wersyll yr Iuddewon yn y nos, gyd â dwy fil o rai dieithr, a deng mil* o'i fyddin ei hun; tra parhaodd y nos, y rhai hynny o Gaza oedd drechaf; o herwydd gwneuthur i'r gelyn gredu mai Ptolemy a'u goresgynasai hwynt. Ond wedi dyfod o'r dydd ym mlaen, a darfod diwygio y camsyniad hwnnw, ac i'r Iuddewon wybod gwirionedd y peth; hwy a ddychwelasant yn ol drachefn, ac a syrthiasant ar y rhai hynny o Gaza, gan ladd ynghylch mil o honynt. Ond fel yr oedd y rhai hyny o Gaza yn eu gwrthsefyll yn gadarn; ac na fynnent roddi i fynu er eu diffyg o unrhyw beth, nac oblegid y lliaws mawr a laddwyd; (canys hwy a ddewisent ddioddef y caledi mwyaf pa bynnag, na dyfod tan awdurdod eu gelynion:) Aretas, brenin yr Arabiaid, gŵr ardderchog y pryd hynny, a'u bannogodd i fyned ym mlaen yn fywiog, gan addaw dyfod ei hun i'w cynnorthwyo. Ond fe ddigwyddodd cyn ei ddyfod ladd Apollodorus: canys ei frawd Lysimachus oedd yn cynfigennu wrtho oblegid y mawr-glod a ynillasai ym mysg y dinasyddion, a'i lladdodd ef; ac a gasglodd y fyddin ynghyd, gan roddi i fynu'r ddinas.† Pan ddaeth Alexander i mewn, efe a arhosodd yn llonydd ar y dechreuad; ond yn ol hynny efe a osododd ei fyddin ar wartbaf preswylwyr Gaza, gan roddi cennad iddynt i'w cospi hwynt. Felly rhai a aethant un ffordd, a'r lleill ffordd arall, ac a laddasant breswylwyr Gaza. Etto nid oeddynt yn wan-galon, ond a wrthwynebasant y rhai a ddeuai i'w lladd hwynt, ac a laddasant gynnifer o'r Iuddewon: a rhai o honynt pan welsant eu hun yn unig, a losgasant eu tai eu hunain, fel na chai'r gelynion ddim o'u hyspail. Ië, rhai o honynt â'u dwylaw eu hunain a laddasant eu gwragedd a'u plant; heb un ffordd arall ganddynt i ochelyd myned yn gaethion. Ond y seneddwyr, y rhai oll oeddynt bum cant, a ffoisant i deml Apollo; (canys digwyddodd y goresgyniad hwn pan oeddynt yn eistedd;) y rhai a laddodd Alexander. Ac wedi iddo lwyr ddadymchwelyd eu dinas, efe a ddychwelodd i Jerusalem, wedi treulio blwyddyn yn y cynllwyn.

Ynghylch yr amser hwn, Antiochus Grypus‡ a fu farw. Yr achos o'i farwolaeth oedd trwy fradwriaeth Hyracleon, wedi byw o hono bum mlynedd a deugain, a theyrnasu naw § ar hugain. Ei fab Seleucus a'i dilynodd yn y frenhiniaeth, ac a wnaeth ryfel âg Antiochus, brawd ei dad, yr hwn a elwid Antiochus Cyzicenus, ac a'i gorchfygodd ef; gan ei gymmeryd yn garcharor a'i ladd ef. Ond ym mhen amser, Antiochus ‖ mab Cyzicenus, yr hwn a elwid Pius, a ddaeth i Aradus; gan ddodi'r goron-bleth ar ei ben ei hun, a gwneuthur rhyfel â Seleucus, a'i yrru allan o holl Syria. Ond wedi iddo ffoi allan o Syria, efe a ddaeth i Mopsuestia drachefn, gan osod treth arnynt am arian. Ond pan oedd Antiochus, mab Cyzicenus yn frenin Syria; Antiochus,¶ brawd Seleucus, a wnaeth ryfel ag ef; ac a orchfygwyd, ac a lwyr ddifethwyd, efe a'i fyddin. Ar ei ol ef ei frawd Philip a wisgodd y goron-bleth; ac a deyrnasodd ar ryw ran o Syria. Ond Ptolemy Lathyrus a ddanfonodd am ei bedwerydd brawd, Demetrius, yr hwn a elwid Eucerus, o Cnidus, ac a'i gwnaeth yn frenin Damascus. Ond Antiochus a wrthwynebodd y naill a'r llall o'r brodyr hyn yn y modd mwyaf gwresog; ond yn fuan a fu farw. Canys fel ag yr oedd wedi dyfod yn gynnorthwy i Laodice,** brenhines y Gileadiaid,†† pan ydoedd yn rhyfela yn

* Neu un mil. † Bl. 97.

‡ Yr hanes yma am farwolaeth Antiochus Grypus, a gadarnheir gan Appian. Syriac. t. d. 142, a goffeir yma gan Spanheim.

§ Porphyry a ddywed, na ddarfu i'r Antiochus Grypus hwn deyrnasu ond 26 mlynedd, fel y sylwia Dr. Hudson.

‖ Copiau Josephus yn Groeg a Lladin sydd mor anghywir yn eu darlleniad yma, Antiochus ac Antionius, neu Antonius Pius, am Antiochus Pius, fel y mae'r cyhoeddwr yn gorfod diwygio 'r testyn o haneswyr eraill: y rhai sydd oll yn cyttuno, nad oedd enw y brenin yma ddim yn 'chwaneg nag Antiochus Pius.

¶ Y ddau frodyr hyn, Antiochus a Philippus, a gyfrifir yn efelliaid gan Porphyry: y pedwarydd brawd oedd frenin Damascus, yn ol sulw Spanheim.

** Neu Laodicea o Gilead.

†† Y Laodicea hon ydoedd ddinas, y tu draw i'r Iorddonen. Pa fodd bynnag, Porphyry a ddywed, na fu yr Antiochus Pius yma farw yn y

erbyn y Parthiaid, ac efe yn ymladd yn wrol, a syrthiodd; pan oedd Demetrius a Phylip yn llywodraethu Syria.

Am Alexander, ei bobl ei hun a ymranasant i'w erbyn. Canys ar ŵyl a gedwid y pryd hynny, pan oedd yn sefyll ar yr allor, ac yn myned i aberthu; y bobl a gyfodasant i'w erbyn, ac a'i lluchiasant ag afalau euraid, ag oedd ganddynt y pryd hynny yn eu dwylaw; oblegid fod cyfraith yr Iuddewon yn gofyn, fod gan bob un ar ŵyl y pebyll ganghennau o'r palmwydd a'r pren citron: yr hyn bethau * a grybwyllir mewn lle arall: hwy hefyd a'i gwaradwyddasant, fel un tarddedig o † gaethes; ac felly yn annheilwng o dderchafiad, ac o aberthu. Wrth hyn yr ydoedd mewn cynddaredd, ac a laddodd yngbylch chwe mil o honynt. Efe hefyd a wnaeth fur-gwahaniaeth o goed o amgylch yr allor, a'r deml; cyn belled â'r gwahau-fur hwnnw; o mewn i ba un yr oedd yn gyfreithlon yn unig i'r offeiriaid fyned. ‡ A thrwy'r moddion hyn efe a rwystrodd y lliaws i ddyfod atto ef. Efe hefyd a gynnaliodd ddieithriaid o Pisidia a Cilicia. Canys am y Syriaid yr ydoedd mewn rhyfel â hwynt, ac ni wnaeth ddim defnydd o honynt. Efe hefyd a orchfygodd yr Arabiaid; y cyfryw a'r Moabiaid, a'r Gileadiaid; gan wneud iddynt dalu teyrnged. Ymhellach, efe a ddifrododd Amathus; pan na feiddiodd § Theodorus ymladd ag ef. Ond fel yr oedd wedi ymuno mewn brwydr âg Obedas, brenin yr Arabiaid; a syrthio o hono i gynllwyn mewn lleoedd geirwon ac anhawdd eu tramwyo, efe a fwriwyd i lawr i bant-le dwfn, gan liaws y camelod, wrth Gadara, pentref yn Gilead; ac a ddiangodd yn brin â'i fywyd ganddo. Oddiyno efe a ffodd i Jerusalem; ym mha le, heblaw ei aflwydd mewn pethau eraill, y lliaws a'i dirmygasant ef: ac efe a ymladdodd â hwynt chwe blynedd; ac a ddifethodd ddim llai na deng mil a deugain o honynt. A phan ddymunodd arnynt adael heibio eu drwg-ewyllys tu ag atto, hwy a'i casasant o gymmaint a hynny yn rhagor, ar gyfrif yr hyn a wnaethid eisoes. A phan ofynodd iddynt pa beth a ddylai wneuthur? Hwy oll a lefasant allan, y dylai ei ladd ei hun. Hwy hefyd a ddanfonasant at Demetrius Eucerus, i ddymuno arno ef wneud cyngrair o gyd-amddiffyniad â hwynt.

## PENNOD XIV.

*Am achosion Demetrius Eucerus ac Alexander; hefyd ymherthynas i farwolaeth Demetrius.*

YN awr, Demetrius a ddaeth trosodd â byddin, gan gymmeryd y rhai a'i gwahoddasai gyd ag ef; ac a wersyllodd wrth y ddinas Shechem. Ar hyn Alexander, gyd â'i chwe mil a dau cant o gyflog-filwyr dieithriol, ac yngbylch ugain mil o Iuddewon ag oedd o'i blaid ef, a aeth yn erbyn Demetrius: yr hwn oedd ganddo dair mil o wŷr meirch, a deugain mil o wŷr traed. Ymegnïad mawr a wnaethpwyd bob ochr: Demetrius yn ceisio dwyn ymaith y cyflogyddion oedd gyd ag Alexander, o herwydd mai Groegiaid oeddynt; ac Alexander yn ymdrechu i ddwyn trosodd yr Iuddewon oedd gyd â Demetrius. Pa fodd bynnag, pan na allai un o honynt eu perswadio i wneuthur hynny, hwy a ddaethant i frwydr, ym mha un holl gyflogyddion Alexander a laddwyd, wedi gwneud dangosiad amlwg o'u ffyddlondeb a'u gwrolder. Nifer mawr o filwyr Demetrius hefyd a laddwyd, er cael o hono ef y fuddugoliaeth.

Yn awr, fel ag yr oedd Alexander yn ffoi i'r mynyddoedd, chwe mil o'r Iuddewon a ddaethant ynghyd atto ef oddiwrth Demetrius, o dosturi tu ag atto, oblegid cyfnewidiad ei gyflwr. Ar hyn Demetrius a giliodd allan o'r wlad, yn ol yr hyn ymladdodd yr Iuddewon yn erbyn Alexander: ond wedi eu curo, rhifedi mawr o honynt a laddwyd mewn amryw frwydrau a fu rhyngddynt. Ac wedi cau o hono i fynu y rhai

frwydr hon; ond, wrth ffoi ymaith efe a foddwyd yn yr afon Orontes. Dywed Appian ei ddifeddiannu o deyrnas Syria gan Figranes. Ond Porphyry a gyfrif y Laodice hon yn frenhines y Calamaniaid; yr hyn oll a nodir gan Spanheim. Yn y fath gymmysgedd o hanesion diweddar, nid oes gennym un rheswm i fod yn dderbyniol o un o honynt o flaen Josephus, yr hwn oedd ganddo fwy o rai hynafiaethol o'i flaen.

* Gwel Llyfr iii. pen. 10.

† Y gwaradwydd hwn ar Alexander, ei fod yn deillio oddiwrth gaethes, a ymddengys yn unig fel ail-adroddiad o'r hen enllib Phariseaidd ar ei dad ef. Pen. 10.

‡ Bl. 91.

§ Y Theodorus hwn ydoedd fab Zeno; ac a oedd yn etifeddu Amathus.

mwyaf galluog o honynt yn ninas Bethome, efe a warchaeodd arnynt yno. A phan gymmerodd y ddinas, a chael o hono y dynion tan ei awdurdod, efe a'u dygodd hwynt i Jerusalem, ac a wnaeth weithred o fwyaf creulondeb. Canys fel yr oedd yn gwledda gyd â'i ordderch-wragedd yngolwg yr holl ddinas, efe a barodd groeshoelio ynghylch wyth gant o honynt: a thra yr oeddynt yn fyw, efe a orchymmynodd dori gwythi gwaed eu gwragedd a'u plant o flaen eu llygaid! Y gospedigaeth an-nynol hon ydoedd yn wir mewn ffordd o ddial am y niweid a wnaethant iddo ef: canys efe a ddaethai trwy'r modd hwn i'r radd ddiweddaf o berygl am ei fywyd ei hun a'i deyrnas: pan nad oedd y bobl yn boddloni ar eu hymladdiad eu hunain ag ef; ond a ddygasant i mewn ddieithriaid hefyd i'r un pwrpas. Ië, hwy a'i darostyngasant o'r diwedd i'r fath radd o angenrheidrwydd, fel y cymhellwyd ef i ddychwelyd yn ol i frenin Arabia, tir Moab a Gilead y rhai a ddarostyngasai, a mannau oedd o'u mewn hwynt; fel na unent â'r Iuddewon i ryfela yn ei erbyn ef; y rhai a wnaethant ddeng mil o bethau oedd yn tueddu i'w ddigio a'i waradwyddo ef. Pa fodd bynnag, y weithred farbaraidd hon a ymddengys heb fod o un angenrheidrwydd: ac mewn canlyniad o honi a gafodd yr enw * Thracida y'mysg yr Iuddewon. Y milwyr a ymladdasai yn ei erbyn, a hwy ynghylch wyth mil o nifer, yn awr a ddiangasant ymaith yn y nos; tra y darfu i Alexander, wedi ei ryddhau yn awr oddiwrth bellach aflonyddwch ganddynt, deyrnasu weddill ei amser yn y llonyddwch mwyaf.

Wedi ymadawiad Demetrius o Judea, efe a aeth i Berea, gan warchae ar ei frawd Phylip; a chanddo gyd ag ef ddeng mil o wŷr traed, a mil o wŷr meirch. Pa fodd bynnag, Strato, gorthrymwr Berea, cyngreirwr Phylip, a gymmerodd i mewn Zizon, llywodraethwr y llwythau Arabaidd, a Mithridates Sinax, llywodraethwr y Parthiaid; yr hwn yn dyfod â byddinoedd lliosog, ac yn gwarchae ar Demetrius yn ei wersyllfa, i'r hon y gyrrasent ef â'u saethau, hwy a wnaethant i'r rhai oedd gyd ag ef trwy syched, roddi eu hunain i fynu iddynt. Felly hwy a gymmerasant fesur mawr o yspail o'r wlad, a Demetrius ei hun: yr hwn a ddanfonasant at Mithridates, ag ydoedd y pryd hwnnw yn frenin y Parthiaid. Ond am y rhai a gymmerasant yn gaethion o bobl Antioch, hwy a'u dychwelasant i'r Antiochiaid yn ddi wobr. Yn awr, Mithridates brenin Parthia, oedd a Demetrius ganddo mewn anrhydedd mawr, nes diweddodd Demetrius ei fywyd trwy glefyd. Felly Philip yn ebrwydd wedi i'r frwydr hon fyned trosodd a ddaeth i Antioch, gan ei chymmeryd, a theyrnasu ar Syria.

## PENNOD XV.

*Am ymgyrch Antiochus, a elwid Dionysus; ac am Aretas yn erbyn Judea; ynghyd â buddugoliaethau a marwolaeth Alexander.*

AR ol hyn Antiochus, a elwid † Dionysus, ac ydoedd frawd Philip, a ymdderchafodd i'r llywodraeth, ac a ddaeth i Damascus, gan gael yr oruchel awdurdod i'w ddwylaw ei hun. Ond fel yr oedd yn gwneuthur rhyfel â'r Arabiaid, ei frawd Phylip a glybu am dano, ac a ddaeth i Damascus: ym mha le Milesius, yr hwn a adawsid i lywodraethu'r tŵr, a'r Damasciaid eu hunain, a roddasant y ddinas i fynu iddo ef. Etto fel ag yr oedd Phylip yn tyfu yn anniolchgar, ac na chaniattasai un ffafr iddo mewn gobaith o ba un y gwnaethai dderbyniad o hono i'r ddinas; ond a ydoedd yn ewyllysio iddynt gredu yn hytrach mai rhag ei ofn y rhoddasid hi i fynu, yn hytrach na thrwy ewyllys da Milesius; ac o herwydd na wobrwyodd ef megis y dylasai wneuthur, efe a aeth yn ddrwg-dybus ganddo; ac felly fe orfu iddo adael Damascus drachefn. Canys Milesius a'i daliodd yn myned allan i'r ‡ Hippodrome, ac a'i caeodd i fynu ynddo; ac a gadwodd Damascus i Antiochus Eucerus; yr hwn yn clywed fel yr oedd matter-

* Yr enw hwn Thracida a roddes yr Iuddewon ar Alexander, a raid wrth gyssylltiad, arwyddo ei fod "mor farbaraidd a Thraciad," neu ryw beth tebyg iddo. Ond pa beth yw ei briodol arwyddoccâd ni ellir ei wybod.

† Spanheim sy'n cymmeryd sulw yma, am yr Antiochus Dionysus hwn, brawd Phylip, a Demetrius Eucerus, a dau eraill, mai y pummed mab ydoedd i Antiochus Grypus; a'i fod yn cael ei enwi yn yr argraph ar ei arian, Antiochus Epiphanes Dionysus.

‡ Y lle o redfa meirch.

ion Phylip yn sefyll, a ddaeth yn ol o Arabia. Efe hefyd a wnaeth ymgyrch yn erbyn Judea, gyd ag wyth mil o wŷr traed, ac wyth gant o wŷr meirch.

Felly Alexander trwy'r arswyd o'i ddyfodiad, a gloddiodd ffos ddofn, a'i dechreuad yn Chabarzaba, a elwir yn awr Antipatris, hyd fôr Joppa; o ba barthau yn unig y gallai ddwyn byddin yn ei erbyn. Efe hefyd a gododd fur, ac a adeiladodd dŷrau o waith coed, gyd ag amddiffynfeydd tufewnol, yn gant a deg a deugain 'stadau o hŷd; ac yno a ddisgwyliodd am ddyfodiad Antiochus. Ond efe yn fuan a'u llosgodd oll; ac a wnaeth i'w fyddin fyned yn mlaen trwy'r ffordd hono i Arabia. Aretas, y brenin Arabaidd, ar y dechreu a giliodd; ond ar ol hynny a ymddangosodd yn ddisymmwth gyd â deng mil o feirch-ryfelwyr. Antiochus a roddodd gyfarfod iddynt, ac a ymladdodd yn erchyll: ond wedi ynnill o hono'r fuddugoliaeth, fel yr oedd yn tywys cynnorthwyadau at y rhan hynny o'i fyddin oedd yn gwanhau, efe a laddwyd. Ac wedi syrthio Antiochus, ei fyddin a ffôdd i'r pentref a elwid Cana; lle y darfu am y rhan fwyaf o honynt trwy newyn.

Ar ei ol ef* Aretas a deyrnasodd dros Cœlesyria; wedi ei alw i'r llywodraeth gan y rhai a feddiannasant Damascus, o achos y casineb oedd ganddynt tu ag at Ptolemy Menneus. Efe hefyd oddiyno a wnaeth ymgyrch yn erbyn Judea; ac a orchfygodd Alexander yn agos i le a elwid Adida. Etto efe ar ryw ammodau pennodol a ymadawodd o Judea.

Ond Alexander a † gychwynnodd drachefn i'r ‡ ddinas Dios, ac a'i cymmerodd hi: ac yna efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Essa, lle'r oedd y rhan oreu o drysorau Zeno: ac yno'r amgylchynodd y lle â thri o furiau. Ac wedi cymmeryd y ddinas efe a gychwynnodd i Golan a Seleucia: ac wedi eu darostwng hwynt, efe a ynnillodd y dyffryn hwnnw a elwir dyffryn Antiochus, ac hefyd yr amddiffynfa Gamala. Efe hefyd a gyhuddodd Demetrius, yr hwn oedd lywodraethwr y lleoedd hyn, o amryw feiau, ac a'i troes allan. Ac wedi treulio tair blynedd yn y rhyfeloedd hyn, efe a ddychwelodd i'w wlad ei hun; pan dderbyniodd yr Iuddewon ef yn llawen ar ol ei lwyddiant hwn.

Ar yr amser yma yr Iuddewon oeddynt mewn meddiant o'r dinasoedd canlynol a berthynent i'r Syriaid, Idumeaid, a Phœniciaid. Ar lann y môr, Tŵr Strabo, Apollonia, Joppa, Jamnia, Ashdod, Gaza, Anthedon, Raphia, a Rhinocolura. Ynghanol y wlad, yn agos i Idumea, Adora, a Marissa. Yn agos i wlad Samaria, mynydd Carmel, a mynydd Tabor, Scythopolis, a Gadara. O wlad y Gaulonitiaid, Seleucia, a Gabala. Yngwlad Moab, Heshbon, a Medeba, Lemba, ac Oronas, Gelithon, Zara, dyffryn y Ciliciaid, a Pella: y rhai olaf hyn a ddifethasant yn gwbl; o herwydd na fynnai eu trigolion § gyfnewid eu defodau crefyddol, am y rhai a arferid gan yr Iuddewon. Yr Iuddewon hefyd a feddiannodd eraill o brif ddinasoedd Syria ydoedd wedi eu difetha.

Ar ol hyn y brenin Alexander, er syrthio o hono i afiechyd trwy yfed yn ormodol, a chryd pedwar-dydd wedi ei orddiwes; etto ni fynnai beidio myned allan gyd â'i fyddin, nes llwyr ddiffygio gan y llafur yr aethai trwyddo; ac a fu farw o fewn terfynau Ragaba, ‖ amddiffynfa y tu hwnt i'r Iorddonen. Ond pan ganfu ei frenhines ei fod yn barod i farw, ac nad oedd obaith mwyach am ei iachâd, hi a ddaeth atto dan wylo a galaru; gan ofidio o'i phlegid ei hun a'i meibion, a'r cyflwr anghyssurus y gadewid hwy ganddo: ac a ddywedodd,

"I bwy yr wyt yn fy ngadael i a'm plant, y

* Yr Aretas hwn ydoedd frenin cyntaf yr Arabiaid; yr hwn a gymmerodd Damascus, ac a deyrnasodd yno. Yr hwn enw yn ol hynny a ddaeth yn gyffredin i'r fath frenhinoedd Arabaidd yn Petra ac yn Damascus, fel yr ydym yn dysgu oddiwrth amryw fannau yn Josephus: a chan St. Paul, 2 Cor. xi. 32. Gwel y nôd ar XVI. 9.

† Bl. 84 C. C.

‡ Gwel Llyfr xiv. Pen. 1.

§ Gallwn yma ddal sulw, am ba ryw wledydd neu ddinasoedd bynnag a ddarostyngwyd gan yr Asmoneaid, perthynol i rai o'r cenhedloedd cymmydogol; neu pa ryw wledydd neu ddinasoedd bynnag a ynnillasant oddi arnynt, a'r na pherthynai iddynt o'r blaen; hwynt-hwy ar ol dyddiau Hyrcanus, a gymmellasant y trigolion i adael eu heilun-addoliaeth, a gwneud derbyniad o gyfraith Moses, fel proselytiaid cyfiawnder; neu ynte eu halltudio i wledydd eraill. Y tywysog odiaethol hwnnw Ioan Hyrcanus, a wnaeth hynny i'r Idumeaid, fel y nodais ar pen. 9. eisoes; y rhai a fuont fyw y pryd hynny yngwlad yr addewid; a hyn, fel y tybiaf, yn gyfiawn: ond pa hawl oedd gan eraill i'w wneuthur, i wledydd neu ddinasoedd nad oeddynt ran o'r tir hwnnw, nis gallaf wybod. Hyn a ymddengys yn rhy debyg i gospedigaeth anghyfiawn oblegid crefydd.

‖ Argob.

rhai ydynt ymddifad o bob cynnaliaeth arall: a hyn, fel y gwyddost, pan y mae cymmaint o ddrwg-ewyllys gan dy genedl i ti?"

Efe a attebodd, na fyddai raid iddi ond dilyn yr hyn a ddywedai efe wrthi, mewn trefn i gadw'r deyrnas yn ddiogel, gyd â'i phlant. Bod iddi gadw yn ddirgel ei farwolaeth oddiwrth y milwyr, nes iddi gymmeryd ei le ef: ac ar ol hynny myned gyd â goruchafiaeth, megis ar ol cael buddugoliaeth, i Jerusalem; a dodi rhan o'i hawdurdod yn nwylaw'r Phariseaid: oblegid y canmolent hi am yr anrhydedd a wnaethai iddynt; ac y cymmodent y genedl â hi. Canys dywedodd wrthi, fod ganddynt hwy awdurdod mawr ym mysg yr Iuddewon; i wneud niweid i'r rhai a gashaent; ac i beri manteision i'r sawl a fyddent o duedd gyfeillgar tu ag attynt. Oblegid y pryd hynny y credir hwy oreu gan y lliaws, pan lefarant unrhyw beth yn llym yn erbyn eraill, er pe byddai o gynfigen wrthynt. Ac efe a ddywedodd, mai ar eu cyfrif hwynt y tynnasai efe arno anfoddlonrwydd y genedl, y rhai yn wir a wnaethai niweid iddynt. "Bydded i ti gan hynny," eb efe, "pan ddelych i Jerusalem, ddanfon am y gwŷr pennaf yn eu mysg hwynt, gan ddangos fy nhorph iddynt: a chyd âg ymddangosiad o ddifrifwch mawr, dyro gennad iddynt wneuthur ag ef fel yr ewyllysiont; pa un ai a ddi-anrhydeddant fi trwy wrthod ei gladdu, o herwydd yr hyn a ddioddefasant trwof; neu yn eu digllonedd, y cynnygiant wneuthur ryw ammharch arall i'm corph. Addaw hefyd iddynt, na wnei ddim hebddynt hwy yn achosion y deyrnas. Os bydd i ti ond ymddwyn y modd hwn, mi gaf fy anrhydeddu ag angladd mwy ardderchog nag a allasit ti ei wneuthur i mi. A phan ddel i'w gallu wneuthur dirmyg i'm corph, ni wnant niweid oll iddo, a thi a lywodraethi mewn diogelwch."* Felly wedi rhoddi o hono i'w wraig y cyngor hwn, efe a fu farw; yn ol teyrnasu † saith ar hugain o flynyddau, a byw naw a deugain.

## PENNOD XVI.

*Am ymddygiad Alexandra tu ag at y Phariseaid; ei Theyrnasiad a'i Marwolaeth.*

ALEXANDRA wedi cymmeryd yr amddiffynfa, a wnaeth megis y dangosasai ei gwr iddi; gan lefaru wrth y Phariseaid, a dodi pob peth tan eu hawdurdod hwynt; hyd yn oed ymherthynas i'r corph marw, ac achosion y deyrnas: a thrwy hynny hi lonyddodd eu digter tu ag at Alexander, ac a wnaeth iddynt ddangos ewyllys da a chymmwynasrwydd tu ag atto. Yn ganlynol hwy a ddaethant i blith y lliaws, ac a osodasant o'u blaenau weithredoedd Alexander; gan ddywedyd golli o honynt frenin cyfiawn; a thrwy'r canmoliaeth a roddasant iddo, parasant iddynt ofidio a thrymhau o'i blegid ef: felly fe gafodd angladd mwy anrhydeddus na neb o'i flaenoriaid. Alexander a adawodd o'i ol ddau o feibion, Hyrcanus ac Aristobulus; ond a orchymmynodd ofal y deyrnas i Alexandra. Yn awr, am y ddau fab hwn, Hyrcanus ydoedd yn wir yn an-alluog i drefnu achosion cyhoeddus, ac a oedd yn hytrach yn ymhoffi mewn bywyd o lonyddwch. Ond yr ieuangaf, Aristobulus, ydoedd yn ëofn ac yn fywiog; ac Alexandra a gerid gan y lliaws, o herwydd ymddangos o honi yn anfoddlon i'r troseddiadau a fuasai ei gwr yn euog o honynt.

Felly hi a wnaeth Hyrcanus yn archoffeiriad, oblegid mai efe oedd yr hynaf; ond yn fwy neillduol am nad oedd yn gofalu ymyrraeth â matterion gwladol: a hi a ganiattaodd i'r Phariseaid drefnu pob peth, a gofyn gan y lliaws ufuddhau

* Fe ymddengys wrth y cyngor hwn o eiddo Alexander Janneus i'w wraig, ar ei farwolaeth, ei fod ei hun yn dilyn mesurau ei dad Hyrcanus, ac wedi cymmeryd plaid y Saduceaid, y rhai oeddynt yn glynu yn agos wrth y gyfraith ysgrifenedig, yn wrthwyneb i'r Phariseaid, y rhai a ddygasant i mewn eu traddodiadau eu hunain, gwel Pen. 16. a'i fod ef yn awr yn gweled angenrheidrwydd gwladwriaethol i ymostwng i'r Phariseaid, a'u traddodiadau rhagllaw, os ewyllysiai ei weddw, a'i theulu, gadw meddiant o'r llywodraeth frenhinol; neu orthrymmiad ar y genedl Iuddewig. Yr hon blaid, a gynnalid y modd yma, a fu o'r diwedd mewn mesur mawr, yn ddinystr crefydd, llywodraeth, a chenedl yr Iuddewon: ac a'u dygodd i'r fath amgylchiad annuwiol, fel y daeth dial Duw arnynt, er eu llwyr dorriad ymaith. Yn gymmwys y modd hwn y darfu i Caiaphas yn gyfrwys-gall gynghori Sanhedrim yr Iuddewon; Ioan xi. 50. "Mai buddiol ydoedd iddynt farw o un dyn dros y bobl, ac na ddifethid yr holl genedl." A hyn mewn canlyniad i'w meddyliau dinasaidd eu hunain, adn. 48. mai, "Os gadawant lonydd i'r Iesu, a'i wyrthiau, pawb a gredant ynddo; ac y denai y Rhufeiniaid, ac y difethent eu lle hwynt a'u cenedl." Yr hwn groeshoeliad cyfrwysddrwg o Iesu o Nazareth, a dynnodd i lawr ddial Duw arnynt; ac a fu yn achos i'r Rhufeiniaid hynny, pa rai yr oedd arnynt cymmaint eu hofn, fel i'w ragflaenu y dodasant ef i farwolaeth, i ddyfod yn weithredol, a chymmeryd eu lle a'u cenedl ym mhen 38 mlynedd ar ol hynny.

† O'r Fl. 105 hyd y Fl. 97 C. C. ‡ Bl. 77.

iddynt hwy. Hi hefyd a adferodd y defodau hynny a ddygasid i mewn gan y Phariseaid, yn ol traddodiadau yr hynafiaid, a'r rhai a ddarfuasai i'w thad-ynghyfraith, Hyrcanus eu dileu. Felly'r oedd ganddi hi enw llywydd, ond y Phariseaid oedd yn meddu 'r awdurdod. Canys hwynt-hwy a adferodd y rhai a alltudiwyd, ac a osododd y rhai a garcharasid yn rhyddion: ac yn fyrr nid oeddynt yn gwahaniaethu dim oddiwrth arglwyddi. Y frenhines, pa fodd bynnag, a ofalodd tros achosion y deyrnas, ac a gafodd ynghyd gorph mawr o filwyr cyflog; ac a chwanegodd ei byddin ei hun i'r fath raddau, fel y daeth yn ddychryn i'r gorthrymwyr cymmydogol; ac y cymmerodd rai yn wystlon ganddynt. Ac yr oedd y wlad yn hollol mewn heddwch; oddieithr y Phariseaid; canys hwy a aflonyddasant y frenhines, trwy ddymuno iddi ladd y rhai a berswadiasai Alexander i ladd yr wyth gant o ddynion. * Yn ol yr hyn y torrasant wythi gwaed un o honynt, a elwid Diogenes; ac wedi hynny y gwnaethant yn gyffelyb ag amryw eraill, y naill ar ol eu gilydd; nes i'r gwŷr mwyaf galluog ddyfod i mewn i'r palas, ac Aristobulus gyd â hwynt: canys yr oedd efe yn arwyddo anfoddlonrwydd i'r hyn a wnaethpwyd: ac fe ymddangosodd yn amlwg, pe buasai ganddo gyfleusdra, na adawsai i'w fam fyned ym mlaen y modd hwnnw. Y rhai hyn a goffäodd i'r frenhines y peryglon mawr yr aethent trwyddynt, a'r pethau mawrion a wnaethent; trwy ba rai yr eglurhasent eu ffyddlondeb diysgog i'w meistr; fel ag y derbyniasent y nodau mwyaf o ffafr ganddo. A hwy a attolygasant iddi na ddifethai eu gobaith yn gwbl, fel ag yr ydoedd yn awr wedi digwydd; mai fel y diangasent oddiar y peryglon a gyfodasai oddiwrth eu gelynion cyhoeddus, na thorrid hwynt ymaith yn awr yn eu cartref-leoedd gan eu dirgel elynion, fel creaduriaid mudion.

Dywedasant hefyd, os boddlonai eu gelynion â'r rhai eisoes a laddasid, y cymmerent yr hyn a wnaethid yn amyneddgar ar gyfrif eu parch i'w llywodraethwyr: ond os oedd raid iddynt ddisgwyl y cyffelyb hefyd mewn amser i ddyfod; deisyfasant arni gael eu gollwng ymaith o'i gwasanaeth. Canys ni allent feddwl cynnyg ar un ffordd o waredigaeth hebddi hi: ond y dewisent yn hytrach farw wrth borth y palas, os na faddeuai hi iddynt. A'i fod yn gywilydd mawr, yn gystal iddynt eu hunain, a'r frenhines, pan esgeulusid hwy ganddi, ddyfod o honynt tan ffonnodiau gelynion ei gwr hi. Oblegid y byddai i Aretas, brenin yr Arabiaid, a † brenhinoedd eraill, roddi un math o wobr, pe gallent gael y fath ddynion yn gynnorthwyon tramor; i ba rai y gall eu henwau fod yn ddychryn. Ond os na chaniatteid iddynt eu hail ofyniad hwn; ac os ydoedd yn penderfynu gwneuthur dewisiad o'r Phariseaid o'u blaen hwynt; etto hwy a safent ar hyn, sef bod iddi osod pob un o honynt yn ei hamddiffynfeydd. Oblegid os ydoedd rhai demoniaid maleisddrwg, â chanddynt lid yn barhaus tu ag at dŷ Alexander, byddent hwy ewyllysgar i gymmeryd eu rhan, ac aros mewn bywyd o neillduaeth yn y lleoedd hynny.

Fel yr oedd y gwŷr yma yn llefaru fel hyn; ac yn galw yspryd Alexander i dosturio wrth y rhai a laddesid eisoes, a'r rhai oedd mewn perygl o farwolaeth; y rhai oll a safent gerllaw a ymollyngasant i dywallt dagrau. Ond Aristobulus yn bennaf a amlygodd yr hyn oedd yn ei feddyliau; ac a draethodd amryw ymadroddion gwaradwyddus wrth ei fam, gan ddywedyd, "Yr achos, yn wir yw hyn, fod o honynt eu hunain yn awdwyr eu trueni; y rhai a ganiattasant i wraig, yr hon, yn erbyn rheswm, oedd wallgofus o chwant i deyrnasu arnynt, pan ydoedd meibion ymlodau eu hoedran cymmwysach i hynny." Felly Alexandra, heb wybod pa beth i'w wneuthur gyd â boddlonrwydd, a orchymmynodd iddynt yr amddiffynfeydd oll, oddigerth Hyrcania, Alexandrium, a Macherus, lle'r oedd ei thrysorau pennaf. Yn ol amser hefyd, hi a ddanfonodd Aristobulus gyd â byddin i Damascus, yn erbyn Ptolemy, a elwid Menneus. Ond ni wnaeth ddim ag oedd hynod: ac felly fe ddychwelodd adref.

Ynghylch yr amser hwn y dygwyd newydd-

* Bl. 77.

† Gwel hanes y Rhyf. Llyfr I. Pen 10.

ion fod Tigranes, brenin Armenia, wedi gwneud rhuthr i mewn i Syria, gyd â * phum can mil o wŷr; a'i fod yn dyfod yn erbyn Judea. Yr hyspysiad hwn, fel y gallwn feddwl yn dda, a fu'n ddychryn i'r frenhines, ac i'r genedl. Yn ganlynol hwy a ddanfonasant gennadwyr atto, gyd â llawer o anrhegion gwerthfawr, fel ag yr oedd yn gwarchae ar Ptolemais. Canys Selene, yr hon hefyd a elwid Cleopatra, a lywodraethodd y pryd hwnnw ar Syria; wedi darfod iddi berswadio'r trigolion i yrru ymaith Tigranes. Felly y cennadwyr Iuddewig a erfyniasant arno, ac a ddeisyfasant na fwriadai ddim ag a fyddai niweidiol i'w brenhines, a'u cenedl. Yntau a'u canmolodd hwy am y parchedigaeth a ddangosasant iddo o'r fath bellder; ac a roddodd iddynt obaith da o'i ffafr. † Ond mor gynted ag y cymmerodd Ptolemais, newyddion a ddaeth at Tigranes, fod Luculles, yn ei erlidiad ar ol Mithridates, yn methu ei orddiwes ef: canys efe a ffoisai i Iberia; ac ydoedd yn difrodi Armenia, gan warchae ar ei dinasoedd. Yn awr, pan wybu Tigranes hyn, efe a ddychwelodd adref.

Ar ol hyn, wedi i'r frenhines syrthio i afiechyd peryglus, Aristobulus a fwriadodd wneuthur cynnygiad i oresgyn y llywodraeth. Yn ganlynol efe a ledrattäodd ymaith yn y nos, gyd ag un o'i weision: ac efe a aeth rhagddo i'r amddiffynfeydd, ym mha leoedd yr oedd ei gyfeillion, ag oeddynt yn gyfryw rai er dyddiau ei dad, yn sefydlog. Canys fel ag yr oedd er 's hir amser yn cael ei anfoddloni yn ymddygiad ei fam; felly 'r ydoedd yn awr yn ofni lawer mwy rhag, ar ei marwolaeth, y byddai eu holl deulu tan awdurdod y Phariseaid. Canys efe a ddeallodd am anghymmwysder ei frawd, yr hwn oedd i'w dilyn hi yn y llywodraeth. Ac ni wybu neb yr hyn yr oedd efe yn ei wneuthur, ond yn unig ei wraig, yr hon a adawodd yn Jerusalem, gyd â'i phlant. Efe yn gyntaf oll a ddaeth i ‡ Agaba, lle'r oedd Galestes, un o'r gwŷr galluog a grybwyllwyd o'r blaen, ac a dderbyniwyd ganddo ef. Pan ydoedd yn ddydd, Alexandra a ganfu fod Aristobulus wedi ffoi: a thros amser hi feddyliodd nad oedd ei ymadawiad gyd âg amcan i ddwyn i mewn drefniadau newyddion. Ond wedi dyfod negeseuwyr y naill ar ol y llall, gyd â'r newyddion ddarfod iddo feddiannu y lle cyntaf, yr ail, ynghyd â'r holl amddiffynfeydd; (canys cyn gynted ag yr ymostyngodd un, darfu iddynt oll, yn ol-yn-ol, roddi eu hunain i fynu i'w drefniad:) y frenhines a'r holl genedl oeddynt wedi eu terfysgu yn fawr. Canys yr oeddynt yn cydnabod na fyddai hir amser, cyn i Aristobulus allu sefydlu ei hun yn gadarn yn y llywodraeth. Y peth yr oeddynt yn bennaf yn ei ofni ydoedd hyn; y gosodai gospedigaeth arnynt, am y driniaeth wallgofus a gawsai ei dŷ ganddynt hwy. Felly hwy a benderfynasant gymmeryd ei wraig a'i blant mewn cyfarchwyl, a'u cadw yn yr § amddiffynfa ag oedd uwch-ben y deml. Yn awr, yr ydoedd y bobl yn llifeirio at Aristobulus o bob parth, yn gymmaint a bod ganddo fath o osgordd frenhinol o'i amgylch. Canys mewn ychydig ychwaneg na phymtheg niwrnod, yr ydoedd mewn meddiant o ddau ar hugain o leoedd cedyrn; yr hyn a ddododd gyflensdra iddo i gyfodi byddin o Libanus, a Trachonitis, a'r ‖ pennaduriaid: canys dynion a arweinir yn hawdd gan y blaid fwyaf, ac a ymostyngant yn esmwyth iddynt. Ac heblaw hyn meddyliasant, mai trwy ganiattau eu cynnorthwy, pan na allai ei ddisgwyl, hwynt-hwy, yn gystal ag yntau, a ynnillent y fantais a ddeuai oddiwrth ei fod ef yn frenin: o herwydd eu bod yn achos o gael o hono ef y deyrnas. Yn awr, henuriaid yr Iuddewon, a Hyrcanus gyd â hwynt, a aethant at y frenhines; ac a ddymunasant iddi amlygu ei meddylian ynherthynas i sefyllfa bresennol achosion y deyrnas. Oblegid fod Aristobulus, mewn effaith, yn arglwyddiaethu agos ar yr holl deyrnas; trwy feddiannu cymmaint o leoedd cedyrn: a'i fod yn ynfyd-

* Y nifer o 500,000, neu ynte 300,000 fel y mae yn un copi Groeg, gyd â'r copiau Lladin yn ei nodi am fyddin Tigranes, a ddaeth allan o Armenia i Syria a Judea, a ymddengys yn ormodol. Nyni a gawsom eisoes amryw gyffelyb rifedi lliosogawl ynghopiau presennol Josephus, pa rai ni ddylid eu cyfrif iddo ef. Yn ganlynol, yr wyf yn tueddu at ddiwygiad Dr. Hudson o'r lle hwn, ag sydd yn eu dychymmygu yn 40,000.

† Bl. 71.

‡ Neu Argob.

§ Yr amddiffynfa, castell, neu dŵr yma, i ba un y cafodd gwraig a phlant Aristobulus yn awr eu hanfon, a'r hwn oedd yn edrych uwchlaw y deml; ni allai fod yn ddim amgen na'r hyn a adciladodd Hyrcanus I. XVIII. 4. ac a ail-adeiladodd Herod y mwyaf; pa un a elwid tŵr Antonia. XV. 11.

‖ Gwel Am y Rhyf. Llyfr I. 20.

rwydd iddynt hwy lunio un cyngor eu hunain, tra'r ydoedd hi yn fyw; ac y byddent hwy mewn perygl cyn hir amser. Ond hi a barodd iddynt wneuthur yr hyn a feddylient oreu; fod ganddynt amryw fanteision etto yn aros o'u hochr; cenedl yn llawn calondid; byddin liosog; ac arian yn eu hamrywiol drysorfeydd: oblegid nad oedd ei gofal hi ond ychydig yn awr ynghylch achosion gwladol, pan oedd ei nerth corphorol wedi methu.

Yn awr, ym mhen ychydig ar ol dywedyd hynny wrthynt, hi a fu farw; wedi teyrnasu * o honi naw mlynedd, a byw dair ar ddeg a thrugain. Gwraig ydoedd a'r na ddangosodd arwyddion o wendid yn ei rhywogaeth: canys yr ydoedd callineb i'r graddau mwyaf gyd â'i hawyddfryd i lywodraethu: a hi a ddangosodd yn amlwg trwy ei gweithredoedd ar unwaith, fod ei meddwl yn gymmwys i drefnu matterion llywodraeth: a bod weithiau ddynion eu hunain yn amlygu'r ychydig ddeall sydd ganddynt trwy'r camgymmeriadau a wnant yn y pwngc o lywodraethu. Canys hi a wnaeth ddewisiad gwastadol o'r amser presennol, yn hytrach na'r un i ddyfod; ac a gyfrifodd awdurdod arglwyddiaethol yn rhagoraf o bob peth: ac mewn cymmariaeth i honno, ni wnai sulw o'r hyn oedd dda neu gyfiawn. Pa fodd bynnag, hi a ddygodd achosion ei thŷ i'r fath amgylchiad anneddwydd, a'i bod yn achos o gymmeryd yr awdurdod hynny oddiwrtho, ym mhen ychydig amser yn ol-llaw, yr hyn a ddaethai i'w feddiannu trwy nifer mawr o beryglon ac anhap; a hynny oddiar ddymuniad i beth nad yw yn perthynu i wraig: a'r cwbl trwy gydsyniad yn ei meddyliau â'r rhai oedd yn dal drwg-ewyllys i dylwyth ei gwr: a thrwy adael y llywodraeth yn ymddifad o gynnaliaeth briodol gwŷr cedyrn. Ac yn wir ei threfniadau tra'r ydoedd yn fyw, yn amser ei llywodraethiad, ydoedd y fath ag a lanwodd y palas, yn ol ei marwolaeth â thrallod ac â therfysg. Pa fodd bynnag, er mai dyma ei ffordd o lywodraethu, hi gadwodd y genedl mewn heddwch. A dyma ddiwedd achosion Alexandra.

# LLYFR XIV.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddeuddeng Mlynedd ar Hugain.*

O FARWOLAETH Y FRENHINES ALEXANDRA, HYD FARWOLAETH ANTIGONUS.

## PENNOD I.

*Am y Rhyfel rhwng Aristobulus a Hyrcanus; eu cyttundeb ymherthynas i'r Deyrnas, a ffoedigaeth ganlynol Hyrcanus.*

ADRODDASOM ynghylch achosion Alexandra, a'i marwolaeth, yn y llyfr rhagflaenol; ac yn awr ni a lefarwn am yr hyn a ganlynodd, ac oedd yn gyssylltedig â'r hanesion hynny: gan dystiolaethu cyn myned ym mlaen, nad oes gennym ddim mor agos at ein calon, ag i beidio esgeuluso unrhyw † weithred hynod, trwy anwybodaeth neu fusgrellni. Canys yr ydym yn traethu am hanes ac eglurhad y cyfryw bethau, ag y mae y rhan fwyaf o'n darllenwyr yn anhyspys o honynt, o herwydd eu pellder oddiwrth ein hamseroedd ni: ac yr ydym yn amcanu ei wneuthur gyd â harddwch ymadrodd, cyn belled ag y tardd hynny oddiwrth eiriau priodol, cysson yn eu gosodiad; ac-

* O'r Fl. 78 hyd y Fl. 70 C. C.

† Reland sydd yn sylwi yma, yn gyfiawn, am dystiolaeth Josephus, mai ei ofal mawr ydoedd, nid yn unig i ysgrifennu hanes foddlongar, gywrain, a gwirioneddol, ond i beidio gadael allan un peth o bwys, drwy anwybodaeth neu esgeulusdra; ac yn arwyddo, na fedrai efe, yn unol â'r rheol hon, beidio crybwyll am berson mor ardderchog a gogoneddus a IESU GRIST.

oddiwrth y fath addurniadau mewn ymadrodd ag a dueddo at foddlonrwydd eu darllenwyr: fel y derbyniont wybodaeth o'r hyn yr ydym yn ei ysgrifennu gyd â gradd o ffyddlondeb a hyfrydwch. Ond y diben pennaf a ddylai awdwyr gyfeirio atto uwchlaw eraill, yw llefaru yn deg ac yn wirioneddol, er budd i'r rhai a fyddo, mewn modd amgen, yn anwybodus o'r fath weithrediadau; ac ydynt yn rhwym i gredu y peth a hyspyser am dano gan yr ysgrifenwyr hynny iddynt.

Hyrcanus a ddechreuodd ei archoffeiriadaeth ar y * drydedd flwyddyn o'r ganfed a'r ddwyfed ar bymtheg a thrugain Olympiad; pan oedd Quintus Hortensius, a Quintus Metellus, yr hwn a elwid Metellus o Crete, yn brif-swyddogion yn Rhufain: pan yn fuan y dechreuodd Aristobulus wneud rhyfel i'w erbyn. Ac fel y daeth i frwydr â Hyrcanus yn Jericho, amryw o'i filwyr a giliasant oddi wrtho, ac a aethant trosodd at ei frawd. Ar hyn Hyrcanus a ffodd i'r tŵr; pa le yr oedd gwraig Aristobulus a'i phlant wedi eu carcharu gan eu mam, fel y dywedasom † eisoes; gan orddiwes a gorchfygu y rhai a ffoisant yno, ac a ydoedd yn aros o fewn muriau'r deml. Felly wedi iddo anfon neges at ei frawd, ynghylch gwastadâu matterion rhyngddynt, efe a osododdo'r neilldu ei elyniaeth tu ag atto ar yr ammodau hyn: ar i Aristobulus fod yn frenin; a bod iddo ef ei hun fywiolaethu heb gyffwrdd ag achosion cyhoeddus; a mwynhau yn llonydd yr etifeddiaeth a ynnillasai. Pan gyttunasant ar yr ammodau hyn yn y deml, a chadarnhau y cyttundeb trwy lwon; a rhoddi y naill i'r llall eu ‡ deheulaw yngolwg yr holl liaws, hwy a ymadawsant: Aristobulus i'r palas; a Hyrcanus, fel dyn neillduedig, i dŷ blaenorol Aristobulus.

Ond yr ydoedd rhyw gyfaill i Hyrcanus, pa un oedd Idumead, a elwid Antipater; yr hwn oedd dra chyfoethog, ac o naturiaeth yn ddyn bywiog ac ymrysongar: yr ydoedd yn elyniaethol i Aristobulus, yr hwn a fuasai yn dadleu ag ef ynghylch ei ewyllys da i Hyrcanus. Nicolaus o Damascus yr wir a ddywed, fod Antipater o hiliogaeth yr Iuddewon pennaf a ddaeth o Babilon i Judea. Ond ei adroddiad hwnnw ydoedd i foddhau Herod, yr hwn ydoedd fab iddo: a'r hwn, yn ol amryw droion rhaglunniaeth, a ddaeth yn ol hynny i fod yn frenin yr Iuddewon: hanes pa un a gawn ei roddi yn ei briodol le ar ol hyn. Pa fodd bynnag, yr Antipater hwn a elwid ar y cyntaf Antipas: § a hynny oedd enw ei dad hefyd. Am yr hwn y dywedant, i'r brenin Alexander a'i wraig, ei wneud yn bennaeth byddinoedd holl Idumea: ac iddo ef wneud cyngrair o gymdeithasrwydd â'r Arabiaid hynny, Gaziaid ac Asceloniaid, y rhai ydoedd o'i blaid ei hun: a darfod iddo, trwy amrywiol anrhegion, eu dwyn yn gyfeillion ffyddlon iddo. Ond yn awr yr Antipater ieuangaf hwn ydoedd yn ddrwg-dybus o awdurdod Aristobulus: ac ydoedd yn ofnus rhag y gwnai ddrwg iddo o herwydd ei gasineb tu ag atto. Felly efe a gynnyrfodd feddyliau y rhai mwyaf cedyrn o'r Iuddewon; gan ddywedyd yn ei erbyn ef wrthynt yn ddirgel: a dadleu mai anghyfiawnder oedd edrych heibio i ymddygiad Aristobulus, yr hwn a feddiannodd y llywodraeth yn anghyfiawn, gan fwrw allan ei frawd yr hwn oedd yr hynaf, ac a ddylasai gadw yr hyn oedd berthynol iddo wrth ragorfraint ei enedigaeth. A'r un ymadroddion a ddywedai wrth Hyrcanus: gan ddywedyd y byddai ei fywyd ei hun mewn perygl, oddieithr iddo wylied trosto ei hun, ac ymwrthod ag Aristobulus: canys dywedodd nad oedd cyfeillion Aristobulus yn pallu un cyfleusdra o'i gynghori i'w ladd ef; megis mai'r pryd hynny, ac nid yn gynt, y byddai sicr o gadw ei dywysogaeth. Ond ni

* Langius sy'n sylwi yn dda, am ddechreuad archoffeiriadaeth Hyrcanus, ddarfod ei nodi yn gywir gan Josephus: ac sy'n arwyddo iddo ddechreu cyn canol y flwyddyn 69 o flaen y cyfrif Cristionogol. De Annis Christi II. 18. t. d. 336.

† Gwel Llyfr XIII. pen 16.

‡ Hwn, fel yr wyf yn tybied, yw'r crybwylliad cyntaf o gadarnhau cyttundeb trwy roddi'r ddeheulaw y naill i'r llall yn Josephus; yr hyn, pa fodd bynnag, a gyfarfyddir yn fynych ynddo rhag llaw.

§ Mai'r enwog Antipater, neu dad Antipas, ydoedd hefyd Antipater neu Antipas; (pa ryw ddau a ellir yn gyfiawn eu cyfrif yr un enw; y cyntaf am Roegwr neu genedl-ddyn, y diweddaf â therfyniad Hebraeg neu Iuddewig:) Josephus sydd yma yn sicrhau i ni. Er fod Eusebius yn ei hanes Eglwysig, I. 6. yn dywedyd mai Herod ydoedd. Yr wyf fi yn glir o'r un feddyliau a Dr. Hudson a Noldius, y dylem ddilyn Josephus yn hytrach nag Eusebius yn y matter hwn.

roddodd Hyrcanus ddim cred i'r geiriau hyn, o herwydd ei fod o dymmer addfwyn, ac un nad oedd hawdd ganddo dderbyn enllib yn erbyn dyn arall. Ei duedd hwn, heb fod yn ei gymmell i ymdrin â matterion cyhoeddus, a barodd iddo ymddangos i eraill yn synllyd ac yn anfoesol: tra'r oedd Aristobulus o wahanol dymmer, yn ddyn bywiog, ac o ysbryd mawr a haelionus.

Gan hynny, wedi i Antipater weled nad oedd Hyrcanus yn gwrando ar yr hyn a ddywedai, ni pheidiodd ddydd na nos â beio ar Aristobulus, a'i gyhuddo yn ei wyneb, fel pe buasai yn ewyllysio ei ladd ef. Ac felly trwy annog Hyrcanus yn barhaus, efe a'i perswadiodd i ffoi at Aretas, brenin Arabia: ac a addawodd os cydsyniai â'i gyngor ef, y byddai iddo ei hun ei gynnorthwyo, a myned gyd âg ef. Wedi gwrando o Hyrcanus ar hyn, efe a ddywedodd ei fod er ei fantais iddo ffoi ymaith at Aretas. Pa fodd bynnag, efe a ddanfonodd Antipater yn gyntaf at frenin Arabia, mewn trefn i gael sicrwydd, pan ddeuai efe ar wedd ymbiliwr atto, na thraddodai ef i fynu i'w elynion. Felly Antipater wedi derbyn y fath sicrwydd, a ddychwelodd i Jerusalem, ac a gymmerodd Hyrcanus, ac a ledrattäodd ymaith o'r ddinas yn y nos; gan ei dywys i'r ddinas a elwid Petra, ym mha le yr oedd palas Aretas. Ac fel yr oedd efe yn gyfaill tra adnabyddus i'r brenin, efe a'i perswadiodd i ddwyn Hyrcanus yn ol i Jerusalem, a'r perswadiad hwn a barhaodd i'w wneuthur bob dydd, yn ddibaid. Efe hefyd a gynnygiodd wneud anrhegion iddo ar y cyfrif hwnnw. O'r diwedd efe a orfyddodd Aretas yn ei erfyniad. Ymhellach, Hyrcanus a addawodd iddo, mai pan ddygid ef yno, ac y derbyniai ei deyrnas, yr adferai y wlad a'r dinasoedd hynny a gymmerasai ei dad, Alexander, oddiwrth yr Arabiaid: sef, Medaba, Naballo, Libias, Tharabasa, Agalla, Athone, Zoar, Orone, Marissa, Rudda, Lussa, ac Oruba.

## PENNOD II.

*Am ymgyrch Aretas a Hyrcanus yn erbyn Aristobulus; eu hymosodiad ar Jerusalsm; cyfryngiad Scaurus, y Cadfridog Rhufeinaidd; a marwolaeth Onias.*

WEDI i'r addewidion hyn gael eu gwneuthur i Aretas, efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Aristobulus, gyd â byddin o ddeng mil a deugain o wŷr traed a meirch, ac a'i gorchfygodd ef mewn brwydr. A phan, wedi'r fuddugoliaeth honno, yr aeth llawer trosodd at Hyrcanus, fel encilwyr, Aristobulus a adawyd yn unig, ac a ffodd i Jerusalem. Ar hyn brenin Arabia a gymmerodd ei holl fyddin, ac a ymosododd ar y deml, gan gynllwyn i Aristobulus ynddi; ac â'r bobl etto yn cynnorthwyo Hyrcanus, ac yn ei gefnogi yn y cynllwyn: pan nad oedd neb ond yr offeiriaid yn parhau gyd ag Aristobulus. Felly Aretas a gyssylltodd luoedd yr Arabiaid a'r Iuddewon ynghŷd, ac a yrrodd ym mlaen y cynllwyn yn nerthol; megis ag y digwyddodd hyn yn y tymmor ag yr oedd gŵyl y bara croiw, yn cael ei chynnal, yr hon a alwn ni y Pasg, y penaethiaid ym mysg yr Iuddewon a adawsant y wlad, ac a ffoisant i'r Aipht. Yn awr, yr ydoedd un a'i enw Onias, gwr cyfiawn, ac yn garedig gan Dduw: yr hwn, yn amser sychdwr, a weddiodd at Dduw, am wneuthur diwedd ar y gwres mawr; pa ryw weddiau a wrandawodd efe, ac a ddanfonodd wlaw yn ganlynol.* Y gwr hwn a ymguddiodd ei hun, o herwydd ei fod yn gweled y byddai hir barhad i'r ymryson hwn. Pa fodd bynnag hwy a'i dygasant i wersyll yr Iuddewon, ac a ddymunasant, fel yr oedd efe trwy ei weddiau wedi peri diwedd ar y sychdwr, felly fod iddo yn yr un modd ddatgan melldithion ar Aristobulus, a'r rhai oedd o'i blaid ef. A phan, ar ei ommeddiad, a'r esgusodiad a wnaeth, y cymmellwyd fyth gan y lliaws i lefaru; efe a safodd i fynu yn eu canol hwynt, ac a ddywedodd, "O Dduw, brenin yr holl fyd! gan fod y rhai a safant yn awr yn fy ymyl yn bobl i ti; a'r rhai a warchaeir arnynt yw dy offeiriaid: yr wyf yn attolwg arnat na wrandawech eu gweddiau hwy yn erbyn y rhai hyn; na pheri cyflawniad o'r peth a weddia y rhai hyn yn eu herbyn hwy-

* Yr anfoniad gwyrtmol yma o wlaw yn amser sychdwr, a adroddir am dano gan Josephus, ar weddi y dyn sanctaidd hwn, Onias, a gadarnheir mewn dau o leoedd gan y Rabbiniaid Iuddewig, yn ol eu dull anneheu hwynt; fel y mae Reland yn hyspysu i ni, yn ei nôd ar y lle hwn: un o ba ryw dystiolaethau a osodir yn helaeth yma ganddo ef; at ba un yr wyf yn cyfeirio y darllenydd ymofyngar.

thau." Ond cyn gynted ag y gwnaeth y weddi hon, yr Iuddewon annuwiol oedd yn sefyll o amgylch a'i llabyddiasant ef i farwolaeth.

Ond Duw a'u cospodd hwynt yn union-gyrch am y creulondeb hwn, ac a wnaeth ddial arnynt am lofruddio Onias, yn y modd canlynol: Tra'r oedd yr offeiriaid ac Aristobulus wedi gwarchae arnynt, digwyddodd fod yr ŵyl a elwir y Pasg wedi dyfod; ar ba un ein harfer ydyw offrymmu nifer o aberthau i Dduw: ond y rhai oedd gyd âg Aristobulus oeddynt mewn diffyg o aberthau: ac a ddymunasant ar eu cydwladwyr am eu diwallu â'r cyfryw aberthau, gan sicrhau iddynt y rhoddid cymmaint o arian yn eu lle ag a ddymunent: a phan ofynasant ganddynt fil o drachmæ am bob un o anifeiliaid; Aristobulus a'r offeiriaid yn ewyllysgar a dalasant iddynt yn ganlynol. A'r rhai o mewn a ddisgynasant yr arian iddynt tros y muriau, ac a'u rhoddasant iddynt. Ond wedi i'r lleill eu derbyn, ni ddygasant iddynt yr aberthau. Ond a oeddynt wedi cyrraedd i'r fath radd o ddrygioni, ac i dorri 'r addewidion sicr a wnaethent; ac i fod yn enog o anghrefydd tu ag at Dduw, trwy beidio diwallu y rhai oedd mewn eisiau o honynt ag aberthau. Ac wedi i'r offeiriaid weled gael o honynt eu twyllo, a darfod torri 'r cyttundeb a wnaethent; gweddiasant ar Dduw am ddial o hono hwynt ar eu cydwladwyr. Ac ni oedodd efe y gospedigaeth honno, ond a ddanfonodd dymmestl nerthol o wynt, ag a ddifethodd ffrwyth yr holl wlad; nes bod modius o wenith yn cael ei werthu am un ar ddeg o drachmæ.

Yn y cyfamser Pompey a ddanfonodd Scaurus i Syria, tra'r oedd efe ei hun yn Armenia, yn rhyfela â Tigranes. Ond wedi dyfod Scaurus i Damascus, a chael fod Lollius a Metellus newydd gymmeryd y ddinas, efe a ddaeth ei hun gyd â brys i Judea. Ac wedi ei ddyfod yno, cennadwyr a ddaethant atto oddiwrth Aristobulus a Hyrcanus, a phob un yn ceisio ganddo ei gynnorthwyo. A phan addawsant roddi arian iddo,—Aristobulus pedwar cant o dalentau, a Hyrcanus ddim yn llai;—efe a wnaeth dderbyniad o addewid Aristobulus; canys yr oedd efe yn gyfoethog, ac âg yspryd mawr ganddo; ac ni ewyllysiodd dderbyn dim ond a fyddai gymmedrol: tra'r oedd y llall yn dlawd ac yn wydn; ac yn gwneud addewidion digred mewn gobaith o fwy manteision. Canys nid yr un peth oedd cymmeryd dinas dra chadarn a chyfoethog, ag oedd bwrw allan o'r wlad rai crwydraid, gyd â nifer fawr o Nabateaid, y rhai nid oeddynt bobl o agwedd ryfelgar. Efe gan hynny a wnaeth gallineb âg Aristobulus, am y rhesymmau rhag-ddywededig; gan gymmeryd yr arian a symmud ymaith y cynllwyn: gan orchymmyn i Aretas ymgadw ymaith, os amgen efe a gyfrifid yn elyn i'r Rhufeiniaid. Felly Scaurus a ddychwelodd i Damascus drachefn. Ac Aristobulus, â byddin liosog, a ryfelodd âg Aretas a Hyrcanus, gan ymladd â hwynt mewn lle a elwid Papyron, ac a'u trechodd hwynt yn y frwydr, ac a laddodd ynghylch chwe mil o'r gelynion; pa amser y syrthiodd Phalion hefyd; brawd Antipater.

## PENNOD III.

*Aristobulus a Hyrcanus yn dyfod at Pompey, mewn trefn i ymresymmu pa un a ddylai gael y Deyrnas; ac ar ffoedigaeth Aristobulus i amddiffynfa Alexandrium, Pompey yn arwain ei fyddin; gan orchymmyn iddo roddi i fynu'r amddiffynfeydd a feddiannasai efe.*

YCHYDIG amser yn ol hynny, Pompey a ddaeth i Damascus, gan dramwy gyd â'i fyddin tros Cœlesyria. Ar ba amser fe ddaeth cennadwyr atto o holl Syria, a'r Aipht, ac o Judea hefyd. Canys Aristobulus a ddanfonasai iddo anrheg gyfoethog, yr hon ydoedd winwydden euraidd,* o werth pum cant o dalentau. Yn awr Strabo, o Cappadocia, a grybwyll am y rhodd hon yn y geiriau canlynol: "Daeth hefyd gennadwri o'r Aipht, gyd â choron o werth

* Y winwydden euraidd neu ardd hon, a welwyd gan Strabo yn Rhufain, sydd â'i hargraph yma, megis pe byddai rodd Alexander tad Aristobulus, ac nid Aristobulus ei hun, i'r hwn etto y mae Josephus yn ei chyfrif hi: ac mewn trefn i brofi'r gwirionedd o'r rhan hynny o'i hanesiad, y mae yn dwyn i mewn dystiolaeth Strabo. Felly mae'r copiau cyffredin yn ymddangos eu bod un ai yn gyfeiliornus ai yn ddiffygiol: a'r darlleniad cyntaf a ymddengys ei fod, un ai Aristobulus yn lle Alexander, gyd ag un copi Groeg; neu Aristobulus, mab Alexander, gyd a'r copiau Lladin; y diweddaf o ba rai a ymddengys i mi yn fwyaf tebygol.

pedair mil o ddarnau aur. Ac o Judea fe ddaeth anrheg arall; pa un a ellir ei galw gwinwydden neu ardd; galwasant y peth ei hun Hyfrydwch. Pa fodd bynnag, nyni a welsom yr anrheg honno wedi ei gosod i fynu yn nheml Jupiter Capitolimus yn Rhufain, gyd â'r argraph hwn: "Rhodd * Alexander, brenin yr Iuddewon." Ei gwerth ydoedd bum cant o dalentau. A'r hanes yw, mai Aristobulus, llywodraethwr yr Iuddewon a'i danfonodd hi."

Mewn ychydig amser ar ol hynny y daeth cennadwyr drachefn atto; Antipater oddiwrth Hyrcanus; a Nicodemus oddiwrth Aristobulus; yr hwn ddiweddaf gennad hefyd a gyhuddodd y cyfryw ag a gymmerasai wobrwyon: yn gyntaf Gabinius, ac yna Scaurus: un dri chant o dalentau, a'r llall bedwar cant. Trwy ba ryw ymarferiad yr oedd yn golygu y ddau hyn fel ei elynion, heblaw y rhai oedd ganddo o'r blaen. Ac wedi i Pompey orchymmyn i'r rhai oedd â chanddynt ddadl â'u gilydd i ddyfod atto ddechreu'r gwanwyn, efe a ddygodd ei fyddin allan o'u gauaf-leoedd, ac a symmudodd i wlad Damascus. Ac fel yr oedd yn myned ym mlaen, efe a ddadymchwelodd y tŵr oedd yn Apania, yr hwn a adeiladasai Antiochus Cyzicenus; ac a gymmerodd sulw o wlad Ptolemy Menneus, dyn drygionus; ac nid llai felly na Dionysius o Tripoli, yr hwn a dorrasid ei ben; yr hwn hefyd oedd garennydd iddo trwy briodas. Etto efe a wnaeth bwrcas o gospedigaeth ei feiau, am fil o dalentau; â pha ryw arian y talodd Pompey i'w filwyr eu cyflogau. Efe hefyd a gongcweriodd y lle a elwid Lysias; ar ba le Silas, Iuddew, oedd yn orthrymmwr. Ac wedi iddo fyned tros ddinasoedd Heliopolis, a Chalcis; a dringo tros y mynyddau ar Cœlesyria, efe a ddaeth o Pella i Damascus. Ac wedi gwrando achosion yr Iuddewon, lynghyd a'u llywodraethwyr Hyrcanus ac Aristobulus, y rhai oeddynt mewn ymrafael y naill â'r llall; ac hefyd a'r eiddo'r genedl yn erbyn pob un o honynt, y rhai ni ewyllysient fod tan lywodraeth frenhinol. O herwydd mai y ffurf o lywodraeth a dderbyniasant hwy oddi wrth eu hynafiaid, ydoedd yr un hynny o ymostyngiad i offeiriaid y Duw hwnnw ag oeddynt hwy yn ei addoli. A hwy a achwynasant er bod y ddau hyn o hiliogaeth yr offeiriaid, etto eu bod hwy yn ceisio cyfnewid llywodraeth eu cenedl i ffurf arall, mewn trefn i'w caethiwo hwynt. Hyrcanus a achwynodd mai er ei fod yn frawd hynaf, ddarfod ei ddifuddio o ragorfraint ei enedigaeth; ac nad oedd ond rhan fechan o'r wlad tano ef; gan i Aristobulus feddiannu trwy drais y rhannau eraill o honi. Cyhuddodd ef hefyd ymherthynas i'r rhuthriadau a wnaethid i wledydd cymmydogaethol, a'r yspeilio ar y môr, eu bod i'w cyfrif iddo ef: ac na fuasai cenedl yr Iuddewon yn gwrthdroi, oni b'ai fod Aristobulus wedi ymroddi i drais ac annhrefn. Ac nid oedd nifer lai na mil o Iuddewon mwyaf enwog, ag a gadarnhasant y cyhuddiad hwn: yr hwn gadarnhad a ynnillwyd gan Antipater. Ond Aristobulus a haerodd yn ei erbyn, mai tymmer Hyrcanus ei hun, yr hon oedd swrth ac anweithgar, ac ar y cyfrif hwnnw yn ddirmygus, a barodd ei ddifuddio o'r llywodraeth; ac am dano ei hun ei fod tan angenrheidrwydd i'w chymmeryd arno, rhag ei throsglwyddo i eraill. Ac ymherthynas i'w † ditl o frenin, nid ydoedd amgen na'r hyn a gymmerasai ei dad arno o'i flaen. Efe hefyd a alwodd yn dystion o'r hyn a ddywedodd, rai personau ag ydoedd ieuangc a rhyfygus; gwisgoedd porphor, a gwallt-drwsiadau pa rai, gyd ag addurniadau eraill a ffieiddiwyd gan y llŷs; yn y rhai yr ymddangosasant, nid megis pe byddent i ddadleu achos mewn llŷs cyfiawnder, ond fel pe buasent yn myned i rodfeydd rhwysgfawr.

Wedi i Pompey wrando achosion y ddau hyn, a chondemnio Aristobulus am ei ymddygiad treisgar a thrahaus; efe a lefarodd wrthynt mewn dull moesol, ac a'u gollyngodd ymaith; gan sicrhau iddynt pan ddeuai drachefn i'w gwlad y trefnai efe eu holl achosion, ar ol iddo yn gyntaf olygu achos y Nabateaid. Yn y cyfamser efe a archodd iddynt ymlonyddu, ac a ymddygodd yn addfwyn at Aristobulus, rhag iddo annog y genedl i wrthryfel, a lluddias ei

* Neu Aristobulus, mab Alexander.

† Gwel y nôd ar Llyfr XIII. pen. 10.

ddychweliad. Hyn, pa fodd bynnag, a wnaeth Aristobulus: canys heb ddisgwyl wrth ddim penderfyniad pellach, a addawsai Pompey iddynt, efe a aeth i'r ddinas Delius, ac oddiyno a aeth rhagddo i Judea.

Wrth yr ymddygiad hwn yr ydoedd Pompey yn ddigofus: a chan gymmeryd gyd ag ef y fyddin yr oedd yn ei thywys yn erbyn y Nabateaid, a'r cynnorthwyadau a ddaeth o Damascus, a pharthau eraill Syria, gyd â'r lluoedd Rhufeinig eraill oedd yn ei ddilyn, efe a wnaeth ymgyrch yn erbyn Aristobulus. Ond fel yr oedd yn myned heibio i Pella, a Scythopolis, efe a ddaeth i Coreæ, yr hwn yw'r mynediad cyntaf i mewn i Judea, pan elo un tros y canol-wledydd.

Yno y daeth at amddiffynfa harddwych, (ag oedd wedi ei hadeiladu ar ben mynydd a elwid Alexandrium) i ba le yr oedd Aristobulus wedi ffoi; ac yno y danfonodd Pompey ei orchymmyn atto, ar iddo ddyfod i ymddiddan ag ef. Yn ganlynol, ar waith amryw yn ei berswadio na wnai ryfel â'r Rhufeiniaid, efe a ddaeth i lawr. Ac wedi iddo ddadleu â'i frawd ynghylch ei hawl i'r llywodraeth, efe a aeth i fynu drachefn i'r amddiffynfa, megis ag y rhoddes Pompey iddo gennad i hynny: a hyn a wnaeth ddwy neu dair o weithiau; gan wenieithio iddo ei hun â gobaith y cadarnheid y deyrnas iddo. Felly efe a gymmerodd arno o hyd ufuddhau i Pompey, ym mha beth bynnag a orchymmynai, er ei fod yr un pryd yn ymsefydlu yn ei gastellau; fel na ddarostyngai ei hun yn ormodol, ac fel y byddai barod i ryfel, os digwyddai fel yr oedd efe yn ofni, i Pompey drosglwyddo y llywodraeth i Hyrcanus. Ond pan archodd Pompey i Aristobulus roddi i fynu'r amddiffynfa a gadwodd, ac anfon dangosiad i'w llywodraethwyr o 'tan ei law ei hun i'r diben hwnnw; (canys gwaharddasid iddynt eu rhoddi i fynu wrth orchymmyn neb arall;) efe a ymostyngodd i addaw hynny: ond er hynny efe a aeth ymaith gyd ag anfoddlonrwydd i Jerusalem, ac a wnaeth barottoad at ryfel. Ychydig amser yn ol hyn, rhai gwŷr a ddaeth allan o Pontus, a hyspysodd i Pompey, fel ag yr oedd ar ei daith, ac yn tywys ei fyddin yn erbyn Aristobulus, fod Mithridates wedi ei ladd gan ei fab Pharnaces.

## PENNOD IV.

*Am garchariad Aristobulus, gyd â gwarchäedigaeth a chymmeriad Jerusalem gan Pompey.*

WEDI i Pompey * wersyllu wrth Jericho, (lle y tyfa'r † palmwydd, a'r balsam hwnnw ag sydd ennaint mwyaf gwerthfawr; yr hwn wedi gwneud torriad ar y coed â chyllell lem, neu garreg finiog, sydd yn diferu allan fel sudd neu nodd o'r pren;) efe a gychwynodd yn y bore i Jerusalem. Ar hyn Aristobulus a edifarhaodd oblegid y peth yr oedd yn ei wneuthur; ac efe a ddaeth at Pompey gan addaw arian iddo, a'i dderbyn i Jerusalem; ac a ddeisyfodd arno roddi heibio ryfela, a gwneuthur fel yr ewyllysiai. Felly Pompey ar ei erfyniad a faddeuodd iddo, ac a ddanfonodd Gabinius â milwyr gyd ag ef i dderbyn yr arian, a meddiant o'r ddinas. Etto ni chyflawnwyd un rhan o'r addewid, ond Gambinius a ddychwelodd yn ol; heb ganiattâd o'r ddinas, na derbyniad o'r arian: o herwydd na fynnai milwyr Aristobulus gydsynio â chyflawniad y cyttundeb. Wrth hyn Pompey a ddigiodd yn fawr, ac a ddododd Aristobulus yngharchar, ac a ddaeth ei hun i mewn i'r ddinas; yr hon oedd o gadernid mawr ar bob ochr, oddigerth y gogledd, pa un nid oedd o gystal amddiffyniad. Canys yr oedd ceulan‡ neu geu-

* Bl. 62. † Y tystiolaethau pendant hyn o eiddo Josephus, yma a'r VIII. 6. ynghyd a'r XV. 4. mai'r unig erddi balsam, a'r coed palmwydd goreu, o'r hyn lleiaf yn ei ddyddiau ef, oedd yn agos i Jericho ac Engadi, ynghylch parth deheuol y môr marw: (o amgylch pa le hefyd y gwelodd Alexander Fawr y balsam diferol, Thund. Legion, t. d. 48. 56.) sydd yn dangos camsyniad y rhai sy'n deall Eusebius a Jerom, fel pe buasai un o'r gerddi hyn ym mharth dehenol y môr hwnnw, wrth Zoar neu Segor. Pan y mae'n rhaid eu bod yn meddwl Zoar neu Segor arall ag oedd rhwng Jericho ac Engadi, yn gydunol â Josephus, yr hyn etto nid ymddangosant fod yn gwneuthur; neu ynte a wrthwynebant Josephus; ac oeddynt wrth hynny. Yr wyf yn meddwl hyn, mai oddieithr fod y balsam hwnnw, a'r coed-palmwydd goreu yn tyfu lawer mwy i'r dehau yn Judea, yn amser Eusebius a Jerom, nag oeddynt yn nyddiau Josephus.

‡ Dyfnder a lled neillduol y clawdd neu'r geu-ffos hon, o ba le, o bossibl y cyfodwyd y cerrig i wneud y mur o amgylch y deml, a adewir yn ol yn ein copiau ni o Josephus; ond a osodir i lawr gan Strabo, XVI. t. d. 763, gan yr hwn yr ydym yn dysgu gwybod, fod y clawdd neu'r geuffos hon, yn drugain troedfedd o ddyfnder; ac yn 250 troedfedd o led. Pa fodd bynnag, dywedir gan Josephus fod ei ddyfnder yn annhraethol; yr hyn sydd yn cyttuno yn gymmwys â descrifird Strabo: a'r rhifedi yn Strabo sydd gadarnhad cryf o wirionedd descrifiad Josephus hefyd.

ffos lydan a dofn yn amgylchu'r ddinas, ac a oedd yn cynnwys o'i mewn y deml; yr hon ei hun a gwmpaswyd â mur tra chadarn.

Yn awr, yr ydoedd ymraniadau rhwng y dynion oedd o fewn y ddinas, y rhai ni chyttunent pa beth i'w wneuthur yn eu hamgylchiad presennol. Rhai a dybiasant yn oreu roddi i fynu 'r ddinas i Pompey: ond plaid Aristobulus a'u cyngorasant i gau y pyrth, o herwydd ei fod ef yn cael ei gadw yn y carchar. Yn awr, y rhai hyn a ragflaenasant y lleill, ac a oresgynasant y deml; ac a dorrasant ymaith y bont oedd yn cyrraedd oddiwrthi i'r ddinas: ac a barottoisant eu hunain i oddef y cynllwyn. Ond y lleill a ollyngasant fyddin Pompey i mewn, ac a roddasant i fynu'r ddinas, a phalas y brenin iddo ef. Felly Pompey a ddanfonodd ei raglaw Siso i mewn gyd â byddin; ac a osododd wersyllwyr yn y ddinas a'r palas i'w diogelu hwynt: ac a amddiffynnodd y tai oedd yn cyssylltu â'r deml; a'r rhai oeddynt bell, ac o'r tu allan iddi. Ac yn y lle cyntaf efe a gynnygiodd ammodau o ymheddychiad i'r rhai oedd oddi mewn: ond pan na fynnent gydsynio â'r hyn a gynnygiwyd; efe a gwmpasodd yr holl leoedd o amgylch â mur: a Hyrcanus yn ewyllysgar yn ei gynnorthwyo ar bob achosion. Ond Pompey a wersyllodd y tu fewn i'r mur, ar du gogleddol y deml; pa le a ymddangosai yn fwyaf cyfleus. Ond ar y tu hwnnw yr oedd tyrau mawrion; a cheuffos a gloddiasid, gyd â phantle dwfn o amgylch. Canys ar y rhannau nesaf tu a'r ddinas yr oedd goriwared neu serthallt: a'r bont ar hyd pa un yr aethai Pompey i mewn a dorrwyd i lawr: pa fodd bynnag, bryncyn a gyfodwyd ddydd ar ol dydd gyd â llafur mawr, tra'r oedd y Rhufeiniaid yn torri i lawr ddefnyddiau tu ag atto o'r mannau o amgylch. Ac wedi codi'r bryncyn neu'r geulan yma i ddigonol uchder, a darfod llenwi y gwagle i fynu, er mai'n amherffaith, o herwydd ei annhraethol ddyfnder; efe a ddygodd i fynu beiriannau rhyfel a magnelau o Tyre: ac wedi eu gosod ar y bryncyn, hwy a ergydiasant at y deml â cherrig a deflid gan yr offerynnau. A phe na buasai ein harferiad er dyddiau ein hynafiaid, i orphwys ar y dydd Sabboth, ni allasid fyth orphen y bryncyn hwn, o achos y gwrthwynebiad a wnai'r Iuddewon. Ac er bod ein cyfraith yn caniattau i ni amddiffyn ein hunain yn erbyn y rhai a ddechreuant ymladd â ni, ac a ymosodant arnom: etto ni âd i ni yn gyntaf gyffwrdd â'n gelynion, tra na wnelont hwythau yn amgen.

Pan ddeallodd y Rhufeiniaid y matter hwn, ar y dyddiau hynny a alwn ni Sabbothau, ni thaflasant ddim at yr Iuddewon, ac ni ddaethant i un ymladdfa â hwynt; ond a gyfodasant i fynu eu ceulannau, ac a ddygasant eu hofferynnau i'r fath barodrwydd, fel y gweithredent yn y dyddiau canlynol. A'r neb a fynno oddi yma, a all ddeall, pa mor fawr yw ein harferiad o grefydd tu ag at Dduw, a'n sulw o'i gyfreithiau; pan na luddiwyd yr offeriaid oll yn eu gweinidogaethau cyssegredig, trwy eu hofn yn amser y gwarchäedigaeth hwn: ond a oeddynt o hyd, ddwy waith yn y dydd; yn y bore, ac ynghylch y nawfed awr, yn offrymmu eu haberthau ar yr allor. Ac ni adawent o'r neilldu 'r aberthau hynny, er digwydd rhyw ddamwain alaethus trwy ergydiad y cerrig i'w mysg hwynt. Canys er darfod i'r ddinas gael ei chymmeryd ar y * trydydd mis, ar ddydd yr ympryd, ar y ganfed a'r bedwaredd ar bymtheg a thrugain Olympiad; pan oedd Caius Antonius, a Marcus Tullius Cicero yn brif-swyddogion; a'r gelynion y pryd hynny a syrthiasant arnynt, ac a dorrasant wythi-gwaed neu yddfau y rhai oeddynt yn y deml: etto ni ellid gwneud i'r rhai oedd yn aberthu ddiangc ymaith; trwy 'r ofn yr oeddynt ynddo am eu bywydau eu hunain; nac oblegid nifer y rhai a laddesid eisoes. Gan feddwl ei fod yn well iddynt ddioddef pa beth bynnag a ddeuai arnynt, wrth eu hallorau, nac esgeuluso unrhyw beth ag oedd eu cyfreithiau yn ei ofyn ganddynt. Ac nad o ymffrost unig y dywedir hyn, neu ganmoliaeth yn amlygu gradd ein duwioldeb nad ydoedd gau; mi appeliaf at y rhai a 'sgrifenasant am weithredoedd Pompey:

* Hynny yw, ar y 23 o Sivan; yr ympryd blynyddol oblegid bai ac eilun-addoliaeth Jeroboam, yr hwn a wnaeth i Israel bechu. Gwel Cyssondeb yr Efang. t. d. 152, 153. Neu o bossibl y gallai ryw ympryd arall syrthio ar y mis hwnnw o flaen ac yn nyddiau Josephus.

ac yn eu mysg hwynt at Strabo* a Nicolaus o Damascus;ac heblaw y rhai hyn at Titus Livius, ysgrifennydd yr hanes Rhufeinaidd: y rhai oll sy'n dwyn tystiolaeth i'r peth hwn.†

Ond pan ddygwyd y peiriant dyrnodiol yn agos, y tyrau mwyaf a siglwyd ganddo, ac a syrthiasant i lawr, gan ddryllio rhan o'r amddiffynfeydd ar eu cwymp. Felly y gelynion a dywalltasant i mewn ar fyrr: a Chornelius Faustus, mab Sylla, gyd â'i filwyr, yn gyntaf, a esgynasant y mur; ac yn nesaf atto ef Furius, y canwriad, a'r rhai oedd yn canlyn, o'r rhan arall; tra yr oedd Fabius, yr hwn hefyd oedd ganwriad yn esgyn yn y canol, gyd â chorph cryf o ddynion ar ei ol. Yn awr, yr holl le ydoedd lawn o laddedigion: rhai o'r Iuddewon wedi eu lladd gan y Rhufeiniaid; a rhai y naill gan y llall. Iё, rhai ag ydoedd yno a fwriasant eu hunain dros y dibyn, neu a osodasant eu tai eu hunain ar dân i'w llosgi hwynt, megis heb allu goddef y trueni yr oeddynt ynddo. O'r Iuddewon fe syrthiodd deuddeng mil; ond tra ychydig o'r Rhufeiniaid. Absalom, yr hwn oedd ar unwaith yn ewythr a thad-ynghyfraith i Aristobulus, a gymmerwyd yn gaeth-was. Ac nid ychydig ysgelerder a fu o amgylch y deml; yr hon mewn oesoedd gynt oedd yn anhygyrch, ac na welid gan neb. Eithr Pompey a aeth i mewn iddi, ac nid ychydig o'r rhai oedd gyd ag ef hefyd; ac a gafodd lawn olwg ar y cwbl, yr hyn oedd anghyfreithlon i neb rhyw ddynion eraill eu golygu, ond yr archoffeiriaid yn unig. Yr ydoedd yn y deml honno y bwrdd aur, y canwyllbren cyssegredig, a'r llestri tywalltol, a mesur mawr o ber-lysiau: ac heblaw y rhai hyn yr oedd ym mysg y trysorau ddwy fil o dalentau o arian cyssegredig. Etto ni ‡ chyffyrddodd Pompey â dim o'r pethau hyn oll, ar gyfrif ei barch i grefydd: ac ar yr achlysur yma hefyd efe a ymddygodd mewn modd teilwng o'i rinweddau. Y dydd nesaf efe a roddes orchymmyn i'r rhai oedd a gofal y deml arnynt ei glanhau hi; ac i ddwyn pa ryw offrymmau yr oedd y gyfraith yn ei ofyn i Dduw; gan adferyd yr archoffeiriadaeth i Hyrcanus: am iddo fod yn ddefnyddiol iddo ef mewn pethau eraill, ac o achos iddo luddias yr Iuddewon yn y wlad rhag cynorthwyo Aristobulus i ryfela yn ei erbyn ef. Efe hefyd a dorrodd ymaith y rhai a fuasai awdwyr y rhyfel hwnnw: ac a roddodd wobr addas i Fautus, ac eraill a esgynasai ar y mur gyd â'r fath gyflymdra: ac efe a wnaeth Jerusalem yn deyrngedol i'r Rhufeiniaid; gan gymmeryd ymaith y dinasoedd hynny o Cœlesyria ag oedd yn ddarostyngedig i Judea, gan eu dodi tan lywodraeth rhaglaw Rhufeinig; a chynnwys yr holl genedl ag oedd wedi ymdderchafu cymmaint o'r blaen o fewn ei therfynau ei hun. Ymhellach efe a § ail-adeiladodd Gadara, yr hon a ddifrodasid ychydig o'r blaen, i foddhau Demetrius o Gadara, yr hwn oedd ŵr rhydd; gan adferyd gweddill y dinasoedd, Hippos, Scythopolis, Pella, Dios, a Samaria; megis hefyd Marissa, Ashdod, Jamnia, ac Arethusa i'w preswylwyr eu hunain. Y rhai hyn oeddynt yn y rhan ganol o'r tir. Heblaw y rhai a ddadymchwelasid; ac hefyd y dinasoedd arforol, Gaza, Joppa, Dora, a Thŵr Strato; yr hwn ddiweddaf le a ail-adeiladodd Herod mewn modd tra godidog; gan ei haddurno ag amddiffynfeydd a themlau; ac a newidiodd ei enw i Cæsarea. Y rhai hyn oll a adawodd Pompey mewn cyflwr

* At y tystiolaethau hyn o'r eiddo Strabo, Nicolaus o Damascus, a Titus Livius; y mae Hudson a Spanheim yn dymuno chwanegu Tacitus Histor. V. 9, ond hynny sydd am gymmeryd Jerusalem gan Pompey yn unig. A chan fod agos yr hyn oll a wyddai Tacitus yn sicr am yr Iuddewon, wedi ei dynnu allan ganddo o Josephus, nid yw angenrhaid yn fynych ei goffau ef, fel tyst gwahanol oddiwrtho ef. Yn unig gallwn sylwi yma, ar y ffordd, nad yw Josephus fyth yn coffau un awdwr Lladinaidd, ond Titus Livius; ac yntau yn y lle yma yn unig.

† Y mae'n haeddu yma i ni sylwi, ynghylch y tyb Phariseaidd ofergoelus hwn, fod ymladdiad amddiffynnol yn anghyfreithlon i'r Iuddewon, ie tan yr angenrheidrwydd mwyaf ar y dydd Sabboth; am yr hyn nid ydym yn clywed dim cyn amseran y Maccabeaid; ac ydoedd briodol achos gymmeryd Jerusalem gan Pompey, gan Sosius, a chan Titus; fel yr ymddengys oddiwrth y lleoedd a goffawyd eisoes, yn y nôd ar XIII. 3, ac mewn rhan gan Ptolemy Lagi hefyd, XI. 1, yr hwn ofer-goelus bettrusder am wneuthur sulw o'r fath orphwysfa bendant ar y dydd Sabboth, a wrthwynebid bob amser gan ein Hiachawdwr, pan y sefid trosto gan y Phariseaid Iuddewig, fel y mae'n amlwg mewn llawer o fannau yn y Testament Newydd. Er iddo yn wastad arwyddo iddynt, mor niweidiol y profai y tyb ofergoelus hwnnw iddynt, yn eu ffoedigaeth rhag y Rhufeiniaid. Matth. xxv. 20.

‡ Hyn a gadarnheir yn gyflawn trwy dystiolaeth Cicero; yr hwn a ddywed yn ei araith am Flaccus, "Na ddarfu i Cnelus Pompey, pan ydoedd gongcwerwr, ac wedi cymmeryd Jerusalem, gyffwrdd â dim oll a berthynai i'r deml honno.

§ Am ddinystr Gadara, a ragfeddyliwyd yma, a'i hadferiad gan Pompey, gwel y nod yn Hanes y Rhyf. I. 7. Am y Demetrius hwn o Gadara, gwr-rhydd Pompey, yr ydym yn ei gael wedi ei grybwyll gan Seneca a Pleutarch, fel y noda Dr. Hudson: ac oddiwrth adferiad y dinasoedd hyn, cyfrifir yn amser hynodol gan y Groegiaid, ynghas-

o ryddid; ac a'i cyssylltodd â thalaith Syria.

Yn awr, yr achos o'r trueni hwn a ddaeth ar Jerusalem, ydoedd Hyrcanus ac Aristobulus; trwy gyfodi ymryson y naill yn erbyn y llall. Canys yn awr nyni a gollasom ein rhyddid, ac a ddaethom yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid; ac a'n hymddifadwyd o'r wlad honno, yr hon a ynnillasom trwy rym ein harfau oddiar y Syriaid; ac a orfu i ni ei dychwelyd iddynt drachefn. Y Rhufeiniaid hefyd a godasant oddi arnom, mewn ychydig amser, uwchlaw deng mil o dalentau. A'r awdurdod frenhinol, yr hon ydoedd ragorfraint a ganiattasid gyntaf i'r rhai oedd archoffeiriaid, wrth hawl eu teuluoedd, a ddaeth yn eiddo dynion neilltuedig. Ond am y matterion hyn ni a draethwn yn eu priodol leoedd. Yn awr, Pompey a osododd Cœlesyria, cyn belled â'r afon Euphrates, a'r Aipht, tan olygiad Scaurus; gyd â dwy leng o filwyr Rhufeinig; ac yna a aeth ymaith i Cilicia, gan frysio i Rufain. Efe hefyd a ddygodd gyd ag ef Aristobulus a'i blant. Canys yr oedd iddo ddwy o ferched, a chynnifer o feibion; un o ba rai a ddiangodd ymaith: ond yr ieuangaf, Antonius, a ddygwyd i Rufain, ynghyd â'i chwiorydd.

## PENNOD V.

*Am y Cyngrair o gyd-amddiffyniad a wnaeth Scaurus ag Aretas; a'r peth a wnaethpwyd gan Gabinius yn Judea, wedi iddo fuddugoliaethu ar Alexander, mab Aristobulus.*

SCAURUS yn awr a wnaeth ymgyrch * yn erbyn Petra, yn Arabia, gan osod ar dân yr holl leoedd o amgylch, o herwydd yr anhawsdra mawr o nesâd atti. Ac fel yr oedd ei fyddin yn cael ei gwasgu gan y newyn, Antipater a'i diwallodd ag ŷd o Judea, ac â pha beth bynnag arall oedd yn eisiau arno; a hyn wrth orchymmyn Hyrcanus. Ac wedi ei anfon ef at Aretas, fel cennadwr gan Scaurus, o herwydd ei drigfa gyd ag ef yn yr amser gynt; efe a berswadiodd Aretas i roddi i Scaurus swm o ariau, i ragflaenu llosgi ei wlad; gan gymmeryd arno fechnïo drosto am dri chant o dalentau. Felly Scaurus ar yr ammodau hyn a beidiodd wneud rhyfel ymhellach; yr hyn a wnaethpwyd gymmaint wrth ddymuniad Scaurus, ag wrth ddeisyfiad Aretas.

Ryw amser yn ol hyn, pan wnaeth Alexander, mab Aristobulus ruthrad i Judea; Gambinius a ddaeth o Rufain i Syria, fel blaenor lluoedd y Rhufeiniaid. Efe a wnaeth amryw bethau hynod, yn enwedig rhyfela ag Alexander; gan nad oedd Hyrcanus yn gallu hyd hynny wrthsefyll ei wrolder: ond a ydoedd eisoes yn ymdrechu i ail-adeiladu muriau Jerusalem, yr hwn a ddarfu i Pompey ei ddadymchwel: er i'r Rhufeiniaid ag oedd yno geisio attal ei amcan. Pa fodd bynnag, Alexander a aeth o amgylch yr holl wlad, gan arfogi llawer o'r Iuddewon; ac yn fuan a gasglodd fyddin o ddeng mil o wŷr traed, a phymtheg cant o wŷr meirch; ac a amddiffynnodd Alexandrium, gwersyllfa gerllaw Coreæ, a Macherus, yn agos i fynyddoedd Arabia. Gabinius, gan hynny, a ddaeth ar ei warthaf ef, wedi danfon Marcus Antonius, a blaenoriaid eraill, o'i flaen. Y rhai hyn a arfogasant y fath Rufeiniaid ag a'i dilynai hwynt; ac, ynghyd â hwynt, y cyfryw Iuddewon ag oedd ddarostyngedig iddynt; arweinwyr pa rai oedd Pitholaus, a Malichus: cymmerasant hefyd gyd â hwynt eu cyfeillion, y rhai oedd gyd ag Antipater, ac a gyfarfuasant ag Alexander; tra'r oedd Gabinius ei hun yn dilyn gyd â'i leng o filwyr. Ar hyn Alexander a giliodd i gymmydogaeth Jerusalem; pa le y daethant i frwydr orsafol; ac ym mha un y lladdodd y Rhufeiniaid o'u gelynion ynghylch tair mil: a chymmerasant gyffelyb nifer yn fyw.

Ar yr amser hwn daeth Gabinius i Alexandrium; ac a wahoddodd y rhai oedd ynddi i'w rhoddi i fynu ar ammodau cymmedrol; gan addaw maddeuant o'u troseddiadau blaenorol. Ond fel yr oedd nifer mawr o'r gelynion wedi gwersyllu o flaen yr amddiffynfa, y rhai a oddiweddwyd gan y Rhufeiniaid, Marcus Antonius a ymladdodd yn wrol, ac a gwympodd liaws o'r gelynion; ac a ymddangosodd yn ei ddyfodiad o'r frwydr, gyd â'r anrhydedd mwyaf. Felly Gabinius a adawodd ran o'i fyddin

gliadau groegaidd Eusebius, a osodir i lawr gan Scaliger; ac a gymmerid oddiwrth y 179 Olympiad, fel y mae Spanheim yn sylwi. * Bl. 6?.

yno, mewn trefn i gymmeryd y lle: ac efe ei hun a aeth i barthau eraill Judea; gan roi gorchymmyn i ail-adeiladu yr holl ddinasoedd a gyfarfu â hwynt, ag oedd wedi eu difrodi. Ar ba amser yr ail-adeiladwyd Samaria, Ashdod, Scythopolis, Anthedon, Raphia, Dora, Marissa, a Gaza; ac nid ychydig o rai heblaw hynny. Ac fel yr oedd y dynion yn gweithredu yn ol gorchymmyn Gabinius; daeth o amgylch, ddarfod i'r dinasoedd hyn, y pryd hwnnw, gael eu preswylio yn ddiogel; y rhai er's hir amser a fuasent yn anghyfannedd.

Wedi i Gabinius weithredu y modd hwn yn y wlad, efe a ddychwelodd i Alexandrium: ac wedi gyrru ym mlaen y cynllwyn yno, Alexander a ddanfonodd gennadwri atto, i ddeisyfu arno faddeu ei droseddiadau gynt: efe hefyd a roddodd i fynu yr amddiffynfeydd Hyrcania, a Macherus; ac o'r diwedd Alexandrium ei hun. Yr amddiffynfeydd hyn a ddifethodd Gabinius. Ond wedi i fam Alexander, yr hon oedd o du y Rhufeiniaid, ac ydoedd â'i gwr a'i phlant yn Rhufain, ddyfod atto, efe a ganiattaodd iddi hi yr hyn a ofynnai. Ac wedi sefydlu matterion gyd â hi, efe a ddygodd Hyrcanus i Jerusalem, gan orchymmyn gofal y deml iddo ef. Ac wedi iddo ordeinio pump o gyngoriadau, efe a ddosparthodd y genedl i'r un nifer o rannau. Felly y cynghorion hyn oedd yn llywodraethu'r bobl: y cyntaf oedd yn Jerusalem; yr ail oedd yn Gadara: y trydydd yn Amathus; y pedwerydd yn Jericho; a'r pummed yn Sepphoris, Galilea. Felly'r Iuddewon oeddynt yn awr wedi eu rhyddhau oddiwrth yr awdurdod frenhinol, a'u gosod tan lywodraeth * bendefigol.

## PENNOD VI.

*Aristobulus yn diangc o Rufain i Judea; ond a orchfygwyd ac a ail-gymmerwyd; Gabinius yn gorchfygu Alexander a'r Nabateaid mewn brwydr.*

YN awr, Aristobulus a ddiangodd ymaith o Rufain i Judea; ac a ymosododd ynghylch ail-adeiladu Alexandrium, yr hon o'r blaen a ddinystriasid. Ar hyn Gabinius a ddanfonodd filwyr i'w erbyn tan lywodraethiad Sisenna, Antonius, a Servilius, mewn trefn i'w luddias rhag cael meddiant o'r wlad, a'i ail-gymmeryd yn garcharor. Ac yn wir llawer o'r Iuddewon a redasant at Aristobulus, ar gyfrif ei enwogrwydd gynt; ac hefyd am eu bod yn awyddus i drefniadau newyddion. Yn awr, yr ydoedd un Phitholaus, rhaglaw Jerusalem, yr hwn a enciliodd atto ef gyd â mil o wŷr, er fod nifer fawr o'r rhai a ddaethant atto yn anarfog. Ac wedi i Aristobulus ymroddi i fyned at Macherus, efe a ollyngodd ymaith y bobl hynny, o herwydd eu bod heb arfau; ac na's gallent fod o ddefnydd iddo ef, yn yr hyn yr oedd yn myned o'i amgylch. Ond efe a gymmerodd gyd ag ef wyth mil oedd yn arfogion, ac a aeth ym mlaen. Ac fel y darfu i'r Rhufeiniaid syrthio arnynt yn ffyrnig, yr Iuddewon a ymladdasant yn ddewrwych; ond a orchfygwyd yn y frwydr, ac a yrrwyd i ffoi. Ynghylch pum mil a laddwyd ar yr achos hwn; a'r gweddill wedi eu gwasgaru, a geisiasant, yn oreu ag y medrent, i achub eu hunain. Pa fodd bynnag, yr oedd gyd ag Aristobulus etto uwchlaw mil o wŷr; a chyd â hwynt efe a ffodd at Macherus, gan wneud amddiffynfa ar y lle: ac er cael o hono aflwyddiant, yr oedd ganddo etto beth gobaith am ei fatterion. Ond wedi ymdrechu yn erbyn y cynllwyn tros ddeuddydd o amser, a chael amryw glwyfau, efe a ddygwyd megis yn gaethwas at Gabinius, gyd â'i fab Antigonus, yr hwn a ffoisai gyd ag ef o Rufain. A dyma ddigwyddiad Aristobulus, yr hwn a ddanfonwyd yn ol drachefn i Rufain, ac a gedwid yno mewn rhwymau; wedi bod yn frenin ac yn archoffeiriad dair blynedd, a chwe mis: ac a ydoedd yn wir yn ddyn godidog, ac o yspryd mawr. Pa fodd bynnag, y senedd a adawodd i'w blant fyned ymaith, trwy waith Gabinius yn ysgrifennu attynt; ac arwyddo ddarfod iddo addaw wrth eu mam gymmaint â hynny, pan roddasai yr amddiffynfeydd i fynu iddo ef. Ac yn ganlynol hwy a gawsant ddychwelyd i Judea.

* Y mae'r deon Prideaux yn sylwi yn dda, mai "Er yr holl angiod a gyfodid yn erbyn Gabinius yn Rhufain, fod Josephus yn rhoddi geirda rhagorol iddo; fel pe buasai wedi ymddwyn ei hun mewn modd anrhydeddus, yn yr achosion a ymddiriedwyd iddo eu cyflawni yn Judea. Ar y Flwyddyn 55. Marg.

Yn awr, fel yr oedd Gabinius yn gwneud ymgyrch yn erbyn y Parthiaid, ac wedi myned eisoes tros Euphrates, efe a gyfnewidiodd ei feddwl; ac a ymroddodd i ddychwelyd yn ol i'r Aipht, mewn trefn i * adferyd Ptolemy i'w deyrnas. Antipater a ddiwallodd ei fyddin, yr hon a ddanfonodd yn erbyn Archelaus, gyd ag ŷd, arfau, ac arian. Efe hefyd a wnaeth i'r Iuddewon hynny ag oedd uwchlaw Pelusium, ei gyfeillion a'i gyngreirwyr; y rhai oeddynt warcheidwaid y fynedfa oedd yn arwain i'r Aipht. Ond pan ddaeth yn ol drachefn o'r Aipht, efe a gafodd Syria mewn annhrefn gan ymryson a therfysg: canys Alexander, mab Aristobulus wedi goresgyn y llywodraeth yr ail waith trwy drais, a wnaeth i lawer o'r Iuddewon droi atto ef: ac felly fe aeth ym mlaen gyd â byddin fawr trwy'r holl wlad, gan ladd yr holl Rufeiniaid a gyfarfyddai â hwynt: ac efe a aeth i warchae y mynydd a elwid Gerizzim, i ba le yr oeddynt wedi encilio.

Ond wedi i Gabinius gael Syria yn y fath annhrefn, efe a anfonodd Antipater, yr hwn oedd ŵr call, at y rhai oedd yn ymrysongar; i brofi a allai efe eu hynnill o'u gwallgofrwydd, a'u perswadio i ddychwelyd at feddwl gwell. Ac wedi ei ddyfod attynt, efe a ddenodd lawer o honynt i wneuthur yr hyn a ddylent. Ond ni allai attal Alexander, canys yr oedd gyd ag ef fyddin o ddeng mil ar hugain o Iuddewon, ac a gyfarfyddodd Gabinius: ac wedi ymgyssylltu yn y frwydr âg ef, efe a gurwyd, ac a gollodd ddeng mil o'i wŷr tua mynydd Tabor.

Felly Gabinius a sefydlodd yr achosion perthynol i ddinas Jerusalem, yn gyttunol âg ewyllys Antipater, gan fyned yn erbyn y Nabateaid, a'u dadymchwel mewn brwydr. Efe hefyd a ddanfonodd ymaith, mewn dull cyfeillgar, Mithridates ac Osanes, y rhai oeddynt Barthiaid ar ffo, wedi dyfod atto ef; er myned y gair allan mai diangc a wnaethent oddi wrtho. Ac wedi i Gabinius gyflawni gweithredoedd mawrion, yn ei drefniad o achosion y rhyfel, efe a ddychwelodd i Rufain, ac a draddododd y llywodraeth i Crassus. Yn awr, Nicolaus o Damascus, a Strabo o Capadocia, ydynt bob un yn descrifio ymgyrch Pompey a Gabinius yn erbyn yr Iuddewon; pan nad yw un o honynt yn mynegi un peth newydd, nad yw yn y llall.

## PENNOD VII.

*Am yspeiliad y Deml gan Crassus, o flaen ei ymgyrch yn erbyn y Parthiaid; yn yr hyn y difethwyd ef gyd â'i fyddin; am orchestion Cassius; ac am farwolaeth Aristobulus a'i fab Alexander.*

YN awr, † Crassus, fel ag yr oedd yn myned rhagddo yn ei ymgyrch yn erbyn y Parthiaid, a oddiweddodd Judea, ac a ddygodd ymaith yr arian oedd yn y deml, y rhai a adawyd gan Pompey; pa rai ydoedd ddwy fil o dalentau: ac yr ydoedd tuedd ganddo i gymmeryd yr holl aur a berthynai iddi yn yspail, o werth wyth mil o dalentau. Efe hefyd a gymmerodd ymaith swmmer o aur coeth, o bwys tri chan minæ; pob un o ba rai a bwysai ddau bwys a hanner. Yr offeiriad ydoedd warcheidwad y trysorau cyssegredig, enw yr hwn oedd Eleazar, a draddododd y swmmer hwn; nid o'i hunan ddrwg-fwriad, canys dyn da a chyfiawn ydoedd efe: ond wedi ymddiried iddo am gadwraeth y llenni a berthynai i'r deml, y rhai oeddynt dra harddwych, ac o wneuthuriad costfawr, ac yn crogi i lawr oddiwrth y swmmer neu'r tylath hwn: pan ganfu fod Crassus yn prysur gasglu arian ynghyd, ac yn ofni am holl addurniadau y deml: efe a roddodd iddo y swmmer hwn o aur, megis yn brynedigaeth am y cwbl: ond nid cyn iddo wneuthur llŵ na chymmerai ddim arall o'r deml, ond boddloni ar y peth hwn yn unig a roddai efe iddo, ac efe yn werth llawer mil o siclau. Yn awr, y swmmer hwn a gynnwysid mewn trawst neu swmmer o goed ag ydoedd wâg oddi mewn: ond ni wybyddid am dano gan neb arall ond Eleazar yn unig. Etto, Crassus a gymmerodd ymaith

* Yr hanes yma a eglurir oreu gan Dr. Hudson, allan o Livy, Epil: cv. yr hwn a ddywed. "A Gabinius, yr is-raglaw, a adferodd Ptolemy i'w deyrnas yn yr Aipht; gan fwrw ymaith Archelaus, yr hwn a osodasant hwy i fynu yn frenin." &c. Gwel Prid. ar y blynyddau 64 a'r 56.

† Bl. 54. C. C.

y swmmer hwn, ar ammodau na chyffyrddai â dim arall perthynol i'r deml: ac yna efe a dorrodd ei adduned, ac a gymmerodd ganddo yr holl ddefnyddiau a gafwyd yn y deml.

Ac na ryfedded neb fod cymmaint o gyfoeth yn ein teml ni; pan oedd yr Iuddewon trwy'r ddaear drigiannol, a'r rhai ag oedd yn addoli Duw;* ïe y rhai o Asia ac Ewrop, yn anfon eu rhoddion iddi, a hynny er's hen amseroedd. Ac nid yw maintioli gwerth y pethau hyn heb ei gadarnhad; nac i'w gyfrif i'n hymffrost balchïaidd, megis yn ei dderchafu, heb sail, i ormod o uchder. Ond y mae iddo amrywiol dystion; ac yn enwedig Strabo o Cappadocia; yr hwn a ddywed fel hyn:---"Mithridates a ddanfonodd i Cos; ac a gymmerodd ymaith yr arian a roisai Cleopatra, brenhines yr Aipht, i gadw yno; ac hefyd wyth gant o dalentau perthynol i'r Iuddewon." Yn awr, nid ydym ni yn feddiannol ar ddim arian cyhoeddus ond a berthyn i wasanaeth Duw. Ac y mae'n amlwg i Iuddewon Asia symmud yr arian yma rhag ofn Mithridates. Canys nid yw debygol i'r Iuddewon hynny o Judea, y rhai oedd ganddynt ddinas gadarn a theml, ddanfon eu harian i Cos. Ac nid oedd debygol i'r Iuddewon oedd breswylwyr Alexandria wneuthur hynny ychwaith; gan nad oeddynt mewn dim ofn o Mithridates. A Strabo ei hun sy'n dwyn tystiolaeth i'r un peth mewn lle arall; mai ar yr un amser ag yr aeth Sylla trwodd i Groeg, mewn trefn i ymladd yn erbyn Mithridates, iddo anfon Lucullus i ddodi terfyn ar ymryson a ddarfu i'n cenedl, o ba rai y mae'r ddaear yn llawn, gyfodi yn Cyrene. Pa fan y dywed fel hyn, "Yr oedd pedwar gradd o ddynion ym mysg y rhai hynny o Cyrene: sef, y rhai o ddinasyddion; eraill o lafurwyr; y trydydd o ddieithriaid; a'r pedwerydd Iuddewon. Yn awr, yr Iuddewon hyn ydynt wedi cael eisoes fynediad i mewn i bob dinas: ac y mae'n anhawdd cael allan le na ddarfu i'r llwythau hyn o bobl gael derbyniad iddo, a pherchennogi meddiannau ynddo. Ac fe ddaeth o amgylch, i'r Aipht a Cyrene, ag sydd ganddynt gyffelyb lywodraeth, a nifer mawr o genhedlaethau eraill, ddyfod i arfer eu ffordd o fywiolaethu; ac sydd yn cynnwys ynddynt gyrph mawr o Iuddewon mewn modd neillduol; ac y maent yn tyfu yn fwy llwyddiannus â hwynt-hwy yn eu mysg; ac a arferant yr un cyfreithiau. Yn ganlynol, y mae gan yr Iuddewon leoedd wedi eu pennodi allan iddynt yn yr Aipht, y rhai a breswylir ganddynt, heblaw y ddosparth a bennodir i'r genedl hon yn † Alexandria, yr hyn sydd gyfran helaeth o'r ddinas honno. Y mae hefyd raglaw yn cael ei ganiattâu iddynt, yr hwn sy'n llywodraethu y genedl, ac yn dosparthu cyfiawnder; gan ofalu ym mherthynas i'w cyttundeb yn eu bargenion, a'r cyfreithiau perthynol iddynt; fel pe byddai reolwr rhydd-wladwriaeth. Yn yr Aipht, gan hynny, y genedl hon sydd nerthol; o herwydd yr Iuddewon gynt oeddynt Aiphtiaid: ac o herwydd fod y tir y maent yn ei breswylio yn agos i'r Aipht. Hwy hefyd a symmudasant i Cyrene, o herwydd fod y tir hwn yn cyssylltu â llywodraeth yr Aipht, yn gystal ag y mae Judea, neu yn hytrach oedd tan yr un llywodraeth.

Wedi i Crassus drefnu pob peth fel ag yr oedd yn ewyllysio, efe a aeth ymaith i Parthia, lle y darfu am dano ef, a'i holl fyddin, fel yr ‡ adroddwyd mewn lle arall. Cassius, fe yr oedd yn ffoi o Rufain i Syria, a gymmerodd feddiant o honi, ac a fu yn rhwystr i'r Parthiaid; y rhai, trwy eu buddugoliaeth ar Crassus, a wnaethant ruthriadau yn ol hynny. Ac fel y daeth yn ol i Tyre, efe a aeth i fynu i Judea hefyd, gan syrthio ar Taricheæ, a'i chymmeryd yn fuan; a chludo ymaith ynghylch deng mil a deugain o Iuddewon yn gaeth-weision, a lladd Pitholaus, yr hwn a ddilynodd Aristobulus yn ei arferion ymrysongar, a hynny trwy annogaeth Antipater; yr hwn a brofodd ei fod mewn cymmeriad mawr gyd ag ef; ac ydoedd y pryd hynny mewn parch gyd â'r Idumeaid hefyd, canys efe a briododd wraig, yr hon oedd ferch hwn.

* Y Proselytiaid.

† Spanheim a sylwia yma am lawer o dystion, ynghylch y rhagorfreintiau perthynol i'r Iuddewon yn ninas Alexandria. Gwel ei nod ar y lle

‡ Y dystiolaeth hon, a feddylir ei bod yn eisiau yn bresennol: pafodd bynnag, gwel Am y Rhyf. Llyfr I. pen. 8.

i un o'r gwŷr enwog, a'i henw ydoedd * Cypros: o ba un y cafodd bedwar o feibion, Phasael; Herod, yr hwn, ar ol hyn, a wnaed yn frenin; Joseph a Pheroras; a merch a elwid Salome. Yr Antipater hwn hefyd a dynnodd gyfeillach a chyd-gymdeithasrwydd â phennaethiaid gwledydd eraill: ond yn enwedig â brenin Arabia, i'r hwn y rhoddodd ofal ei blant, tra yr ydoedd yn ymladd yn erbyn Aristobulus. Felly Cassius a symmudodd ei wersyll, ac a gyfeiriodd at Euphrates, i gyfarfod â'r rhai oedd yn dyfod i'w orddiwes ef, fel yr adroddwyd gan eraill.

Ryw amser yn ol hynny, Cæsar, † wedi iddo gymmeryd Rhufain, ac wedi i Pompey a'r senedd ffoi tu hwnt i Fôr Ionian, a ryddhaodd Aristobulus o'i rwymau, gan benderfynu ei ddanfon i Syria; a rhoddi dwy leng o filwyr tan ei lywodraeth, fel yr iawn-drefnai fatterion yn y wlad honno, megis un galluog i hynny. Ond ni chafodd Aristobulus ddim mwynhad o'r hyn a ddisgwyliodd, trwy yr awdurdod a roddwyd iddo gan Cæsar: canys y rhai hynny o blaid Pompey a'i lluddiasant, gan ei ddifetha ef trwy wenwyn. A'r rhai o du Cæsar a'i claddasant ef. Ei gorph marw hefyd a gadwyd dros hir amser mewn mêl; nes i Antony, yn ol hynny, ei ddanfon i Judea; a pheri ei gladdu ef yn y beddrod brenhinol. Ond Scipio, ar waith Ptolemy yn ei ddanfon i ladd Alexander, mab Aristobulus; o herwydd cyhuddo y dyn ieuangc o droseddiadau a fuasai yn euog o honynt yn erbyn y Rhufeiniaid, a dorrodd ymaith ei ben. Ac fel hyn y bu farw yn Antioch. Ond Ptolemy, mab Menneus, yr hwn ydoedd reolwr Chalcis, tan fynydd Libanus, a gymmerodd ei frodyr atto ei hun, ac a ddanfonodd ei fab Philippion i Ascelon, at wraig Aristobulus; gan ddymuned arni ddanfon yn ol gyd ag ef ei mab Antigonus, ynghyd â'i merched: un o ba rai, a elwid Alexandra, a ddarfu i Philippion syrthio mewn cariad â hi, a'i phriodi: er, yn ol hynny, i'w dad ei ladd ef, a phriodi Alexandra, ac a barhaodd i gymmeryd gofal tros ei brodyr.

* Dr. Hudson sydd yn sylwi, am enw y wraig hon i Antipater yn Josephus, yr hyn ydoedd Cypros, megis ei fod â therfyniad Hebreaidd: ond nid Cypris, yr enw Groeg am Venus, fel yr oedd rhai manylaidd yn cael eu tueddu i'w ddiwygio.

## PENNOD VIII.

*Am y cynnorthwy a roddodd yr Iuddewon i Cæsar yn ei ymgyrch yn erbyn yr Aipht; gweithredoedd clodfawr Antipater, a'i gymdeithasrwydd â Cæsar; a'r anrhydedd a gafodd yr Iuddewon gan y Rhufeiniaid a'r Atheniaid.*

YN awr, ar ol marwolaeth Pompey, ‡ Antipater, yr hwn oedd drefnwr achosion yr Iuddewon, a ddaeth yn dra defnyddiol i Cæsar, pan wnaeth ryfel yn erbyn yr Aipht, a hynny trwy gydsyniad Hyrcanus. Canys pan ddaeth Mithridates o Pergamus yn arwain ei gynnorthwyadon, ac heb allu myned rhagddo trwy Pelusium, ond a orfu iddo aros yn Ascelon; Antipater a ddaeth atto, yn flaenor ar dair mil o arfogion Iuddewig. Gofalodd hefyd am i wŷr pennaf yr Arabiaid ddyfod yn gynnorthwywyr iddo. Ac ar ei gyfrif ef yr ydoedd, ddarfod i'r holl Syriaid ei gynnorthwyo hefyd, megis heb ewyllysio ymddangos yn ol llaw yn eu hufudd-dod i Cæsar: sef, Jamblicus y llywodraethwr, a Ptolemy ei fab: a Tholomy mab Sohemus, yr hwn oedd yn aros ym mynydd Libanus; ac ynghylch yr holl § ddinasoedd. Felly Mithridates a gychwynodd o Syria, ac a ddaeth i Pelusium. A phan na fynnai y trigolion ei dderbyn ef, efe a warchäeodd ar y ddinas. Yn awr Antipater a ddangosodd ei hun yn rhagorol yma; ac ydoedd y cyntaf a dynnodd i lawr ddarn o'r mur, ac felly a agorodd ffordd i'r lleill, trwy'r hon y gallent gael mynediad i'r ddinas, a thrwy'r moddion o honynt hwy, Pelusium a gymmerwyd. Ond fe ddigwyddodd na fynnai Iuddewon yr Aipht, y rhai a drigent yn y wlad a elwid Onion, ganiattâu i Antipater a Mithridates, gyd â'u milwyr, fyned rhagddynt at Cæsar. Ond Antipater a'u perswadiodd i ddyfod trosodd at eu plaid hwynt, o herwydd ei fod ef o'r un bobl a hwythau: a hynny yn bennaf trwy ddangos iddynt epistolau Hyrcanus, yr archoffeiriad; ym mha rai y cynghorodd hwynt

† Bl. 49. ‡ Bl. 48.

§ Dinasoedd rhyddion.

i feithrin cymdeithasrwydd â Cæsar. Ac yn ganlynol pan welsant Antipater a'r archoffeiriad o'r un feddyliau, hwy a wnaethant fel y dymunwyd arnynt. Ac wedi i'r Iuddewon ynghylch Memphis glywed fod yr Iuddewon hynny wedi dyfod trosodd at Cæsar, hwythau hefyd a wahoddasant Mithridates i ddyfod attynt hwy. Felly efe a ddaeth, ac a'u derbyniodd hwythau hefyd i'w fyddin.

Wedi i Mithridates fyned tros holl Delta, megis y gelwir y lle; efe a ddaeth i frwydr orsafol â'r gelyn, yn agos i le a elwid, y Gwersyll Iuddewig. Yn awr Mithridates oedd â chanddo'r asgell neu'r ochr ddehau i'r fyddin, ac Antipater yr ochr asswy. A phan ddaethant i ymladdfa, yr asgell honno ag oedd tan orchymmyn Mithridates a giliodd yn ol, ac ydoedd debyg o ddioddef yn erchyll, oni buasai i Antipater ddyfod ar redeg atto gyd â'i filwyr ei hun, ar hyd glan y môr; wedi iddo ef eisoes orchfygu 'r gelyn oedd yn ei wrthwynebu. Felly efe a amddiffynnodd Mithridates, ac a wnaeth i'r Aiphtiaid ydoedd ry galed iddo ffoi ymaith. Efe hefyd a gymmerodd eu gwersyll, ac a barhaodd i erlid ar eu hol. Yna efe a ail alwodd Mithridates, yr hwn a gawsai 'r gwaethaf, ac ydoedd wedi cilio ymaith encyd o ffordd; ac o filwyr pa un y syrthiasai wyth gant; ond o'r eiddo Antipater deg a deugain. Felly Mithridates a ddanfonodd gyfrif o'r frwydr hon i Cæsar; gan dystio yn eglur mai Antipater oedd awdwr y fuddugoliaeth hon, ac o'i waredigaeth ei hun. Yn gymmaint ag y darfu i Cæsar fawrhau Antipater, a gwneud defnydd o hono yn holl rannau eraill y rhyfel hwnnw, ac ar yr achosion mwyaf peryglus: efe hefyd a ddigwyddodd gael ei archolli ny un o'r brwydrau hyn.

Pa fodd bynnag, wedi i Cæsar, ar ol ennyd o amser, orphen y rhyfel, ac ar ei fordwyaeth i Syria, efe a anrhydeddodd Antipater yn fawr; gan gadarnhau Hyrcanus yn yr archoffeiriadaeth: ac efe a osododd i Antipater y rhagorfraint o ddinesydd Rhufain, a rhyddid oddiwrth drethoedd ym mhob lle. Fe sonir yn wir gan lawer, ddarfod i Hyrcanus fyned ymaith gyd ag Antipater yn yr ymgyrch hwn, a'i ddyfod ei hun i'r Aipht, a Strabo o Cappadocia a ddug dystiolaeth i hyn, pan ddywed fel yma, yn enw Arsinius, "Ar ol i Mithridates ymosod ar yr Aipht, a chyd ag ef Hyrcanus, archoffeiriad yr Iuddewon." A'r un Strabo a ddywed hyn drachefn mewn lle arall, yn enw Hypsicrates; i "Mithridates fyned allan yn gyntaf ei hunan; ond Antipater yr hwn oedd ag arno ofal achosion yr Iuddewon, a alwyd ganddo ef i Ascelon: a bod ganddo dair mil o filwyr yn barod i fyned gyd ag ef; ac a annogodd lywodraethwyr eraill y wlad i gyd uno â'i ymdrechiadau: a Hyrcanus yr archoffeiriad, ydoedd yn bresennol hefyd yn yr ymgyrch hwn."

Ond Antigonus, mab Aristobulus, a ddaeth ar yr amser hwn at Cæsar; gan alaru o herwydd marwolaeth ei dad: ac a achwynodd mai trwy ddichell Antipater y cymmerasid Aristobulus ymaith gan wenwyn; a darfod torri pen ei frawd gan Scipio: ac efe a ddymunodd arno ddangos tosturi tu ag atto, yr hwn a fwriwyd allan o'r dywysogaeth oedd â chanddo hawl iddi. Efe hefyd a gyhuddodd Hyrcanus ac Antipater, megis rhai yn llywodraethu 'r genedl Iuddewig trwy drais; gan wneuthur niweid iddo ef. Antipater ydoedd bresennol, ac a wnaeth ei amddiffyniad ymherthynas i'r cyhuddiadau a roddwyd i'w erbyn. Efe a ddangosodd yn amlwg fod Antigonus, a'i blaid, yn ymroi i wrthwynebu trefniadau'r llywodraeth, ac yn ddynion terfysglyd. Efe hefyd a goffaodd i Cæsar yr anhawsderau a'r gwasanaeth yr aethai trwyddynt, wrth ei gynnorthwyo ef yn ei ryfeloedd; gan ddadleu ynghylch y peth yr ydoedd ei hun yn dyst o hono. Ac fe chwanegodd, ddarfod i Aristobulus yn gyfiawn gael ei ddwyn ymaith i Rufain, fel un ag ydoedd yn elyn i'r Rhufeiniaid; ac na ellid fyth ei ddwyn i fod yn gyfaill iddynt: ac na chafodd ei frawd amgen na'r hyn ag oedd yn ei haeddu gan Scipio, megis un a ddaliesid ar y weithred o yspeilio, ac na roddwyd y gospedigaeth hon arno mewn ffordd o drais, neu anghyfiawnder gan yr hwn a'i gwnaeth.

Wedi i Antipater ymadroddi yn y modd hwn, Cæsar a appwyntiodd Hyrcanus yn archoffeiriad; ac a roddodd i Antipater pa ryw dywysog-

aeth a ddewisai; gan adael y penderfyniad iddo ei hun. Felly efe a'i gwnaeth yn ddirprwywr neu raglaw Judea. Rhoddodd hefyd gennad i Hyrcanus i gyfodi muriau ei ddinas ei hun, trwy ofyn y ffafr ganddo ef: canys hwy a ddrylliasid gan Pompey. A'r caniattâd yma a anfonwyd i'r prif-swyddogion yn Rhufain; i'w argraphu yn y cabidyldy, neu deml Jupiter. * Gorchymmyn y senedd ydoedd fel y canlyn:

"Lucius Valerius, mab Lucius y prif-ynad, a wnaeth hwn yn adnabyddus i'r senedd, ar yr ides o Ragfyr, yn nheml y cyfundeb. Yr ydoedd yn bresennol ar ysgrifeniad y gorchymmyn hwn Lucius Copinius, mab Lucius, o'r llwyth Colline; a Papirius, o'r llwyth Quirine; ymherthynas i'r achosion a gynnygiwyd gan Alexander mab Jason, a Numenius, mab Antiochus, ac Alexander, mab Dosetheus, cennadwyr yr Iuddewon, gwŷr da a pharchedig: y rhai a ddaethant i adnewyddu 'r cyngrair o ewyllys da a chyfeillgarwch â'r Rhufeiniaid, yr hwn ydoedd mewn bod o'r blaen. Hwy hefyd a ddygasant darian aur, fel arwydd o gyd-gyfammodiad, o werth deng mil a deugain o ddarnau aur: gan ddymuno cael o honynt lythyrau, wedi eu cyfarwyddo at y dinasoedd rhyddion, ac at y brenhinoedd; fel y byddai eu gwlad a'u porthladdoedd yn heddychlon, ac na chai neb yn eu mysg eu niweidio. Gwelwyd yn dda oblegid hynny gan y senedd, i wneud cyngrair o gyfeillgarwch ac ewyllys da â hwynt; a chyfrannu iddynt pa beth bynnag yr oeddynt yn sefyll mewn diffyg o hono; a gwneud derbyniad o'r darian a ddygwyd ganddynt hwy. Hyn a wnaethpwyd yn y † nawfed flwyddyn i Hyrcanus, archoffeiriad a rhaglaw, yn y mis Panemus."

Hyrcanus hefyd a dderbyniodd anrhydedd gan bobl Athen; megis pe buasai yn ddefnyddiol iddynt ar amrywiol achosion. A phan ysgrifenasant atto, danfonasant iddo y gorchymmyn canlynol:—

"Tan y Prutaneia ac offeiriadaeth Dionysius, mab Esculatius; ar y pummed dydd o'r rhan ddiweddaf o'r mis Panemus; y gorchymmyn hwn a roddwyd i'w llywodraethwyr; pan oedd Agathocles yn Archon; ac Eucles mab Menander o Alimusia yn ysgrifenydd. Yn y ‡ mis Munychion, ar yr unfed dydd ar ddeg o'r Prutaneia, cyngor y rhaglawiaid a gynnaliwyd yn y chwareyddfa. Dorotheus yr archoffeiriad, a'r cydlywyddion gyd ag ef, a'i rhoddodd i ddewisiad y bobl; a Dionysius mab Dionysius a roddes y ddedryd. Gan fod Hyrcanus mab Alexander yr archoffeiriad, ac ethnarch yr Iuddewon, yn parhau i ddangos ewyllys da tu ag at ein pobl yn gyffredin, ac i bob un o'n dinasyddion yn neillduol; ac yn ymddwyn tu ag attynt gyd â phob rhyw garedigrwydd; a phan ddel neb rhyw Atheniaid atto ef, megis cennadwyr, neu ar ryw achos neillduol, y mae'n eu derbyn mewn modd rhwymedigol; gan ofalu am ddychwelyd o honynt yn ol mewn diogelwch; o'r hyn y mae gennym amryw siamplau o'r blaen: yr ydys yn awr yn gorchymmyn, wrth adroddiad Theodocius, mab Theodorus, ac ar ei waith yn dodi 'r bobl mewn cof o rinwedd y gwr hwn; ac mai ei amcan yw gwneuthur yr holl ddaioni a allo i ni, ei anrhegu ef â choron o aur, y wobr arferedig yn ol y gyfraith; a gosod i fynu ei ddelw o bres, yn nheml Demus, a'r moes-dduwiesau: a bod i'r anrheg hon o goron gael ei chyhoeddi yn y chwareufa, ar ddangosfa Ddionysiaidd, tra mae'r trist-chwareyddiaeth newydd yn cael ei gyflawni. Ac yn y dangosfeydd

* Cymmerwch nod Dr. Hudson ar y lle hwn; pa un yr wyf yn meddwl ei fod yn wir. "Y mae yma ryw gam-gymmeriad yn Josephus. Canys pan wnaeth addewid o orchymmyn i ni ynghylch adferiad Jerusalem, efe a ddwg i mewn orchymmyn arall o fwy hynafiaeth; a hwnnw yn gyngrair o gyfeillgarwch ac undeb yn unig. Gall un gredu yn hawdd, ddarfod i Josephus roddi gorchymmyn am un peth, a'i ysgrifennydd nodi un arall; trwy draws-symmudiad gorchymmynion a berthynent i'r Hyrcani, ac wedi eu twyllo gan unoldeb eu henwau. Canys yr un hynny a berthynai i'r archoffeiriad cyntaf o'r enw hwn, (Ioan Hyrcanus,) pa un a gyfrif Josephus yma i'r hwn oedd yn byw yn ddiweddarach; (Hyrcanus mab Alexander Jannaeus.) Pa fodd bynnag, y gorchymmyn a fwriadasai osod i lawr, sy'n canlyn ychydig is ynghasgliad y deddfau Rhufeinaidd a berthynai i'r Iuddewon; ac ydyw yr un hynny a ddyddiwyd, pan oedd Cæsar y bummed waith yn brif-swyddog. Ond pan y mae'n cael ar ddechreuad y gorchymmyn hwn, yr ides o Ragfyr; ac yma ar ddiwedd y 9fed o Hyrcanus; ac etto ar fer y mis Panemus, yr hwn sy'n cyfatteb i ran o'r Julian Fehefin a Gorphennaf; y mae'n amlwg fod y misoedd hyn Rhagfyr a Panemus yn anghyson. Petitus gan hynny sy'n ymddangos yn yr iawn, pan y mae'n gwahaniaethu Panemus oddiwrth y blaenorol orchymmyn, ac yn ei gyfeirio at y nesaf sy'n ei ganlyn, yr hwn a ddyddir yn sicr yn y mis hwnnw; a chan gyfrif y ddau yn yr un flwyddyn, y 9fed o Hyrcanus. Er ysgatfydd fod gair neu ddau, wedi eu gadael ar ol yn ein copiau ni, pe byddent i'w gweled a wnaethai'r dychymmyg yma yn fwy sicr. Gwelwch y deon Prideaux, ar y flwyddyn 127.

† Bl. 127.

‡ Darllennwch yma y cyntaf o Munichion; a'r 10fed o'r Prutaneia.

Panatheniaidd, Eleusiniaidd, a Gymnicaidd hefyd. A bod i'r llywodraethwyr gymmeryd gofal, tra y parhao efe mewn cyfeillgarwch,ac y cadwo ewyllys da tu ag attom, i ddangos pob anrhydedd a ffafr i'r gwr am ei garedigrwydd a'i haelioni. Fel trwy'r ymddygiad yma yr ymddangoso y modd y maeein pobl ni yn cydnabod ei ddaioni yn garedig; ac yn dychwelyd gwobr addas: ac y caffo yntau ei ynnill i fyned rhagddo, yn ei garedigrwydd tu ag attom, trwy'r anrhydedd a roddasom eisoes iddo. Fel y b'o i gennadwyr hefyd gael eu dewis o'r holl Atheniaid, y rhai a drosglwyddant y gorchymmyn hwn iddo; gan ddymuno arno wneuthur derbyniad o'r anrheg a anfonasom iddo; ac ymdrechu bob amser i wneuthur rhyw lesâd i'n dinas."

A hyn a gaiff wasanaethu ymherthynas i'r anrhydedd a dalwyd gan y Rhufeiniaid, a phobl Athens i Hyrcanus.

## PENNOD IX.

*Antipater yn rhoddi llywodraeth Galilea i Herod; a'r un hynny o Jerusalem i Phasaelus; ond Herod trwy gynfigen yr Iuddewon wrth Antipater, yn cael ei gyhuddo ger bron Hyrcanus.*

YN awr, * wedi i Cæsar sefydlu matterion Syria, efe a fordwyodd ymaith. A chyn gynted ag y darfu i Antipater ei gyfarwyddo allan o Syria, efe a ddychwelodd i Judea. Yna efe a gyfododd y mur a fwriasid i lawr gan Pompey: ac wrth ddyfod yno efe a lonyddodd y terfysg a fuasai yn y wlad, a hyn trwy fygwth, a'u cynghori i fod yn llonydd. Canys efe a ddywedodd, pe byddent o blaid Hyrcanus y gallent fyw yn ddedwydd; ac arwain bywydau heb aflonyddwch yn y mwynhad o'u meddiannau: ond os oeddynt ynglŷn â gobeithio'r hyn a ddeuai trwy drefniadau newyddion, ac yn amcanu cyfoethogi eu hunain wrth hynny, byddai iddynt ei gael ef yn feistr llym, yn lle llywodraethwr tyner; a Hyrcanus yn ormes-deyrn, yn lle brenin; a'r Rhufeiniaid, ynghyd â Cæsar, yn elynion chwerwon yn lle llywodraethwyr. Ond na oddefent hwy fyth ddodi heibio un a osodasent yn llywodraethwr. Ac wedi i Antipater ddywedyd hyn wrthynt, efe a sefydlodd achosion y wladwriaeth.

A chan olygu Hyrcanus megis un o dymmer syrthlyd a difraw, efe a wnaeth Phasaelus ei fab hynaf yn llywodraethydd Jerusalem, a'r mannau o amgylch: ond a osododd Galilea i Herod, ei fab nesaf, yr hwn oedd y pryd hynny yn bymtheng † mlwydd o oedran. Ei ieuengctyd hwnnw, pa fodd bynnag, iddo ef nid oedd o ddim rhwystr: ond fel yr oedd yn feddiannol ar feddwl mawr, efe a gyfarfu yn fuan â chyfleusdra i hynodi ei gefnogrwydd. Canys wedi cael allan fod un Hezecias yn gadben ar lu o yspeilwyr ag oedd yn ymdaenu tros barthau cymmydogaethol Syria, efe a'i goddiweddodd ac a'i lladdodd ef; yn gystal a nifer mawr o'r yspeilwyr oedd gyd ag ef. Trwy'r weithred hon efe a ynnillodd gariad y Syriaid: canys pan oeddynt yn mawr ewyllysio rhyddhau eu gwlad oddiwrth y nythed yma o yspeilwyr, efe a'u purodd o honi. Felly hwy a ganasant ganiadau o fawl iddo yn

*Bl. 44. † Cymmerwch nodau Reland a Hudson ar y lle neillduol yma. "Isaac Casaubon, yn ei epistol at Thuanus, yr hwn yw y 936 mewn nifer, sy'n dangos, mai yn lle pymtheg y dylem ddarllen 25; lle'r ysgrifenna fel hyn: "Yr ydym yn sierhau, a hynny gyd â thystiolaeth eglur, y dylai'r darlleniad fod 25. Ac nid ydym i'n perswadio oddiwrth hyn trwy gydsyniad y copiau, neu gyttundeb Photius â hwynt. Efe a ddywedasai ychydig o'r blaen, fod y lle hwn o fawr ganlyniad i ddatguddiad o amseryddiaeth ein Hiachawdwr." Fel hyn am Reland. At yr hyn y mae Hudson yn chwanegu, "Gan nad wyf fyth wedi caniattau im' fy hun y rhyddid o gyfnewid unrhyw rifiad; heb awdurdod yr ysgrif-lyfr; felly ni osodais i lawr yma 25 am 15; yr hyn etto y mae llawer o wŷr dysgedig yn sierhau y dylid ei wneuthur: y rhai a elwir yn dystion gan Casaubon, yn Exercit. contr. Baron. § 34; ac â'r hwn y mae Casaubon ei hun yn cyttuno, yn Epist. 299, megis hefyd Montacutius, yn Exercit. 10, t. d. 34. ac yn Apparatu, t. d. 194; Lydiat. yn Emendet. Temp. t. d. 114, a Kepler De Ann. Nat. Christi, t. d. 52. Nag ê yn wir, y dylid ei ddarllen felly, rhai a eglur ddangosasant: megis Usher, yn Annal. Vet. Test. t. d. 252, Edit. Lond. & Norris in Cenotaphiis Pisanis. Dissert. II. pen. 6, t. d. 160. Y tra dysgedig Antonius Pagi, gan roddi cydsyniad â hwynt, yn Apparat. ad Annal. Baron. t. d. 12; y rhai'n resymmau sy'n peri na roddom fawr o wrandawiad i Pere Harduin: yr hwn (yn ei lyfr De Nummis Herodiadum, t. d. 334. Edit. Amst.) sy'n cymmeryd achlysur oddiwrth bin ysgrifenyddion i syrthio ar Josephus ei hun. Ac megis er ei ymddiffyniad oddiwrth y geiriau, "Pan oedd Herod yn dra ieuangc;" y rhai oll a gymmarant ag ef Is. Casaubon, ac Antonius Pagi yn y lleoedd eisoes a goffawyd, a wel pa mor ganolig y mae yn ei wneuthur." Gwel y nodau yma ar I, 12. Ac am y Rhyfeloedd, I, 12. At yr hyn oll yr anturiaf chwanegu, y bydd i'r sawl a sylwiant yn ofalus ar amryw achlysurol nifer, ac amseryddol nodau bywyd a marwolaeth yr Herod hwn, a'i blant a nodir yn ol hyn, a welant mai 25 mlynedd ac nid 15, a raid yn sier fod nifer Josephus ei hun yma, am oedran Herod, pan wnaethpwyd ef yn llywodraethwr Galilea; ac na fydd angenrhaid iddo chwilio allan neb o'r dysgedigion hyn er boddlondeb. Gwel pen 23 a'r 24, ac yn enwedig XVII. 8, yn mha le, cylch 44 yn ol hynny, y mae Herod yn marw yn hen ŵr, o gylch deg a thrugain. Hefyd XVI. 8, 10, ac 11. Am y Rhyf. I. 30, pa le y mae Herod yn hen ac yn benllwyd. A'r XVII. 4, lle y mae hefyd ei fab Antipater yn heneiddio yn amser bywyd Herod.

eu pentrefi a'u dinasoedd, fel un a ynnillasai heddwch iddynt, a mwynhad diogel o'u meddiannau. Ac oblegid hyn y daeth yn adnabyddus i Sextus Cæsar, yr hwn oedd gâr i'r Cæsariaid mawrion, ac oedd yn awr yn rhaglaw Syria.

Yn awr Phasaelus, brawd Herod, a gynhyrfwyd o awyddfryd wrth y gweithredoedd hyn, ac a eiddigeddodd wrth y clod a ynnillasai; gan fwriadu na byddai yn ol iddo ef yn ei haeddu. Felly efe a barodd i breswylwyr Jerusalem ddwyn yr ewyllys da mwyaf tu ag atto, tra'r oedd ei hun yn golygu 'r ddinas, heb gam-drefnu ei hachosion, na cham-arfer ei awdurdod yn hynny. Yr ymddygiad hwn a ynnillodd oddiwrth genedl Antipater y fath barch ag sy'n ddyledus i frenhinoedd; a'r fath anrhydedd ag a allai gyfrannogi o hono pe buasai yn arglwydd y wlad. Etto ni ddarfu i'r anrhydedd yma, fel y digwydd yn fynych, yn yr hyn lleiaf ddifiannu y caredigrwydd a'r ffyddlondeb oedd ddyledus arno i Hyrcanus.

Ond yn awr y gwŷr pennaf ym mysg yr Iuddewon, pan welsant Antipater a'i feibion yn tyfu cymmaint yn ewyllys da y genedl, ac yn y deyrnged a dderbyniasant allan o Judea, ac allan o feddiannau Hyrcanus ei hun, hwy a aethant yn eiddigeddus tu ag atto. Canys yn wir Antipater a dynnasai gyfeillgarwch ag ymmerawdwyr Rhufain: ac wedi perswadio Hyrcanus i ddanfon arian iddynt; efe a'u cymmerodd iddo ei hun, ac a ddarn-guddiodd yr anrheg a fwriadasid; gan ei danfon megis yr eiddo ei hun; ac nid fel rhodd Hyrcanus iddynt. Hyrcanus a glybu am hyn, ond ni ofalodd yn ei gylch; ïe yn hytrach yr ydoedd yn dda ganddo. Ond yr oedd pennaethiaid yr Iuddewon yn ofni, o herwydd eu bod yn canfod Herod yn ddyn hŷ a threisgar, ac â thuedd i lywodraethu yn orthrymmus. Felly hwy a ddaethant at Hyrcanus, ac a gyhuddasant Antipater o'i flaen, gan ddywedyd wrtho, "Pa hyd y byddi lonydd tan y fath weithrediadau ag a gyflawnir yn bresennol? Neu onid wyt yn gweled y modd y mae Antipater a'i feibion eisoes wedi gafaelu yn y llywodraeth: ac nad oes ond yn unig yr enw o frenin yn cael ei roddi i ti? Ond na oddef y peth hyn i fod yn guddiedig rhagot: ac na feddwl di ddiangc yn ddiberygl wrth fod mor ddiofal am danat dy hun, ac am dy deyrnas. Canys nid yw Antipater a'i feibion yn awr oruchwylwyr dy achosion: na thwylla dy hun â'r fath dybiau: y mae yn amlwg eu bod yn hollol arglwyddi. Canys Herod, mab Antipater, a laddodd Hezeciah a'r rhai oedd gyd ag ef; ac wrth hynny a droseddodd ein cyfraith; yr hon a waharddodd ladd neb, ïe er ei fod yn ddrygionus, oddieithr yn gyntaf* ei farnu yn euog i ddioddef marwolaeth gan y Sanhedrim. Etto bu efe mor drahaus a gwneuthur hyn, heb un awdurdod oddiwrthyt ti."

Ar wrandawiad y peth yma gan Hyrcanus, efe a gydsyniodd â hwynt. Hefyd mammau y rhai a laddesid gan Herod a gyffroisant ei ddigter ef. Canys y gwragedd hyn oeddynt beunydd yn y deml yn perswadio'r brenin a'r bobl, ar i Herod fyned tan brofiad o flaen y Sanhedrim am yr hyn a ddarfuasai ei wneuthur. Hyrcanus, o'r diwedd, ydoedd wedi ei gythruddo gymmaint gan yr achwynion hyn, fel y rhoddodd wŷs i Herod i ddyfod tan holiad, oblegid yr hyn a osodid i'w erbyn. Ac yn ganlynol efe a ddaeth. Ond ei dad a'i perswadiodd i ddyfod, nid fel dyn unigol, ond gyd â gwarchawdlu er diogelwch i'w berson: ac mai pan sefydlai efe achosion Galilea yn y modd goreu a allai er ei fantais ei hun, y denai efe i ymddangos yn y llys barnol; ond etto â chorph digonol o ddynion gyd ag ef, i'w ddiogelu ar ei daith. Etto na ddeuai â'r fath gyd ag ef, ag a fyddai yn ymddangos yn ddychryn i Hyrcanus; er hynny, y cyfryw ag na adewid ef yn noeth ac yn anwyliadwrus i'w elynion. Pa fodd bynnag, Sextus Cæsar, rhaglaw Syria, a ysgrifennodd at Hyrcanus, i ddymuned arno glirio Herod, a'i ryddhau o'i dreial; gan ei fygythio ym mlaen llaw os na wnai hynny. Yr hwn

* Y mae'n deilwng o sulw yma, na ellid rhoddi neb i farwolaeth yn Judea, ond trwy gydsyniad y Sanhedrim Inddewig; oblegid fod rheol ragorol ynghyfraith Moses, i fod, ie ar achosion o ddrwg weithredoedd, ac yn enwedig ymherthynas i fywydau, lle i appelio o'r llysoedd lleiaf o 7, yn y dinasoedd eraill, at y prif gyngor o 71, yn Jerusalem. A hyn sydd yn gyson â geiriau ein Hiachawdwr, pan y mae'n dywedyd, "Na allai fod y darfyddai am brophwyd allan o Jerusalem." Luc xiii. 33.

epistol a fu yr achos o achub Herod rhag dioddef dim niweid gan y Sanhedrim; canys yr oedd yn ei garu fel ei fab ei hun. Ond pan oedd Herod yn sefyll o flaen y Sanhedrim, gyd â'i lu o filwyr o'i amgylch, efe a'u dychrynodd hwynt oll; ac nid oedd un o'i gyhuddwyr o'r blaen yn meiddio ar ol hynny ddwyn dim cwyn yn ei erbyn. Ond fe fu distawrwydd mawr, ac ni wyddai neb pa beth i'w wneuthur. Pan oedd yr achos yn sefyll fel hyn, un a'i enw * Sameas, (gwr cyfiawn, ac am y rheswm hwnnw, uwchlaw pob ofn), a gyfododd i fynu, ac a ddywedodd:—

"O chwychwi ddeddfwyr gyd â mi; ac O tydi yr hwn wyt ein brenin; nid wyf fy hun yn gwybod am y fath amgylchiad; ac nid wyf yn meddwl y medr neb o honoch chwi enwi ei gyffelyb: fod un a alwyd i'w brofi gennym, wedi sefyll y modd yma o'r blaen ger ein bron. Ond pob un, pwy bynnag fyddo, sydd yn dyfod i'w holi gan y Sanhedrim yma, a ymddengys ei hun mewn modd gostyngedig, ac fel un yn ofni am dano ei hun, ac megis yn ymdrechu i'n cynhyrfu i dosturi; gyd â dyryswallt, ac mewn gwisg ddu a galarus. Ond y dyn rhyfedd hwn, Herod, yr hwn a gyhuddir o lofruddiad, ag sydd wedi ei alw i atteb cyhuddiad mor orthrwm, sydd yn sefyll yma wedi ymddilladu â phorphor, a threfnu ei wallt yn harddwych, a chyd â'i wŷr arfog o'i amgylch: fel os barnwn ef yn euog trwy ein cyfraith ni, y byddo iddo yntau ein lladd: a thrwy ornwch-farnedigaeth y gallo efe ei hun ddiangc rhag marwolaeth. Etto nid wyf fi yn gwneud yr achwyniaeth hon yn erbyn Herod ei hun. Y mae efe yn sicr yn gofalu mwy am dano ei hun nac am y cyfreithiau: ond fy achwyniad sydd yn eich erbyn eich hunain, a'ch brenin, trwy ganiattau iddo wneuthur y modd hwn. Pa fodd bynnag, cymmerwch rybudd, mai mawr yw Duw: a'r unig ddyn yma ag ydych yn myned i'w ryddhau, a'i ollwng ymaith er mwyn Hyrcanus a fydd iddo ryw ddydd eich cospi chwi, a'ch brenin hefyd."

Ac ni chamgymmerodd Sameas yn un rhan o'r rhagfynegiad hwn. Canys wedi i Herod dderbyn y deyrnas, efe a † laddodd Hyrcanus, a holl aelodau y Sanhedrim yma, oddigerth Sameas: canys yr oedd yn ei anrhydeddu ef yn fawr, ar gyfrif ei gyfiawnder: ac o herwydd, pan warchaewyd ar y ddinas yn ol hynny gan Herod a Sosius, iddo berswadio y bobl i ollwng Herod i mewn: ac a ddywedodd wrthynt, mai, "Ar gyfrif eu pechodau na allent ddiangc rhag ei ddwylaw ef." Yr hyn bethau a adroddir yn eu priodol leoedd.

Ond pan welodd Hyrcanus fod aelodau'r Sanhedrim yn barod i ddatgan y ddedryd o farwolaeth ar Herod, efe a roddodd heibio y treial hyd y dydd canlynol; gan anfon yn ddirgel at Herod, a'i gynghori i ffoi allan o'r ddinas; oblegid mai trwy'r moddion hyn y gallai ddiangc. Felly efe a giliodd i Damascus, megis pe buasai yn ffoi rhag y brenin. Ac wedi ei fod gyd â Sextus Cæsar, a gosod ei achosion ei hun mewn agwedd o ddiogelwch, efe a ymrodd i wneuthur fel hyn: Os gelwid am dano drachefn o flaen y Sanhedrim, i sefyll ei dreial, na ufuddhäi efe iddynt. Ar hyn yr oedd aelodau'r Sanhedrim yn ddigllon iawn; ac a ymdrechasant i berswadio Hyrcanus fod yr holl bethau hyn yn ei erbyn ef. Hyn yn wir nid oedd yn anwybodus o hono: ond ei dymmer oedd mor aullywodraethus ac anghall, na fedrai wneuthur dim oll. Ond wedi i Sextus wneuthur Herod yn gad-flaenor byddin Cœlesyria; (canys efe a werthodd y swydd honno iddo am arian;) Hyrcanus a ofnodd rhag i Herod wneuthur rhyfel i'w erbyn ef. Ac ni bu effaith yr hyn a ofnodd yn hir heb ddyfod arno. Canys Herod a ddaeth â byddin gyd ag ef i ymladd â Hyrcanus; megis pe buasai ddigllon o blegid y treial a alwesid arno ef i fyned tano o flaen y Sanhedrim. Ond ei dad Antipater, a'i frawd Phasaelus, a'i cyfarfuant ef, ac a'i rhwystrasant i ymosod ar Jerusalem. Hwy hefyd a lonyddasant danbeidrwydd ei dymmer; gan ei berswadio na wnelai weithred fyrbwyll, ond yn unig eu dychrynu â bygythion; ac nad elai ymhellach

* Yr hanes yma, fel y sylwia Reland, a gadarnheir gan y Talmudiaid; y rhai a alwant y Sameas hwn, Simeon mab Shetach. Y cyffelyb ragfynegol araith gan Sulla ymherthynas i Julius Cæsar, sydd i'w gweled yn Suotonius Jul. Cæsar I. fel y mae Havercamp yn cymmeryd sulw yma.

† Gwel Llyfr XV. pen 1.

yn erbyn un a drefnasai iddo'r dyrchafiad oedd ganddo. Hwy hefyd a ddymunasant arno, nid yn unig i fod yn ddig o herwydd ei wysio, a gorfod arno fyned tan dreial; ond i gofio yr un pryd y modd y gollyngwyd ef ymaith heb ei gondemnio; a'r modd y dylai ddiolch i Hyrcanus. Felly hwy a ddymunasant iddo ystyried, mai Duw sydd megis yn troi mantol rhyfel, fod * ansicrwydd mawr ymherthynas i ganlyniad brwydr; ac o herwydd hynny na ddylai efe ddisgwyl buddugoliaeth wrth fyned i ymladd â'i frenin; a'r hwn a'i ffafrodd ef, ac a gyfranasai amryw o bethau daionus iddo; ac ni wnaeth ddim yn erwin i'w erbyn: o herwydd ei gyhuddiadau, y rhai a darddodd oddiwrth gynghoriaid cynfigennus, ac nid oddiwrtho ef, ydoedd yn hytrach ag ymddangosiad o erwindeb, na'r hyn ag ydoedd yn wirioneddol lym neu erwin ynddo ei hun. Yn ganlynol Herod a berswadiwyd trwy y rhesymmau hyn, ac a gredodd ei fod yn ddigonol i'w obaith rhag llaw i wneuthur dangosiad o'i rymmusder o flaen y genedl. Ac yn y cyflwr hwn yr oedd sefyllfa achosion Judea yr amser presennol.

## PENNOD X.

*Am yr anrhydedd a roddwyd i'r Iuddewon, a'r cyngrair a wnaethpwyd gan y Rhufeiniaid a chenhedlaethau eraill â hwynt.*

YN awr, wedi dyfod Cæsar i Rufain, yr ydoedd yn barod i ferdwyo i Affrica, i ymladd yn erbyn Scipio a Cato: pan ddanfonodd Hyrcanus gennadwyr atto, i ddymuno arno gadarnhau y cyngrair o gyfeillgarwch a chydamddiffyniad rhyngddynt. Ac fe ymddengys yn angenrhaid yma i roddi hanes o'r holl anrhydedd a ddangosodd y Rhufeiniaid a'u hymmerawdwyr i'n cenedl ni; ac o'r cyngreiriau neu gyttundeb o gydamddiffyniad a wnaethpwyd rhyngddynt: fel y byddo i bawb eraill o ddynolryw wybod am y parch a ddangosodd brenhinoedd Asia ac Ewrop i ni: a chael o honynt eu boddloni yn fawr yn ein gwrolder a'n ffyddlondeb. O blegid gan na chredant yr hyn a ysgrifenwyd am danom gan y Persiaid a'r Macedoniaid; o herwydd nad yw'r ysgrifenadau hyn lle y gellir cyfarfod â hwynt, nac yn gorwedd mewn mannau cyhoeddus bob amser; ond yn ein plith ein hunain, a rhai cenhedlaethau eraill o farbariaid: pan nad oes dim gwrthwynebiad i'w wneud yn erbyn deddfau y Rhufeiniaid: canys y maent hwy wedi eu gosod i fynu mewn lleoedd cyhoeddus yn y dinasoedd; ac ydynt yn aros etto yn y cabidyldy, yn Rhufain; wedi eu hargraphu ar golofnau o bres. Ië, heblaw hyn, Julius Cæsar a wnaeth golofn o bres i'r Iuddewon yn Alexandria; ac a dystiodd yn gyhoeddus eu bod yn ddinasyddion o Alexandria. Allan o'r tystiolaethau hyn y profaf yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd; ac yn awr a osodaf i lawr y deddfau gorchymmynedig gan y senedd, a chan Julius Cæsar, ag sy'n perthynu i Hyrcanus, a'n cenedl ni.

"Caius Julius Cæsar, gorchymmynwr ac archoffeiriad, a phen-swyddwr yr ail waith at swyddogion, senedd, a phobl Sidon, yn anfon annerch. Os ydych iach da yw: myfi hefyd, a'r fyddin ydym mewn iechyd. Danfonais i chwi gopi o'r gorchymmyn hwnnw, yn argraphedig ar fyrddau, ac sy'n perthynu i Hyrcanus, mab Alexander, archoffeiriad a llywydd yr Iuddewon; fel y gosoder ef i fynu ym mysg y coffadwriaethau cyffredin. Ac yr wyf yn ewyllysio ei arwyddo yn gyhoeddus mewn taflen ar bres, yn Roeg a Lladin. Y mae fel y canlyn:—"Myfi Julius Cæsar, gorchymmynydd yr ail waith, ac archoffeiriad, a wnaethum y ddeddf neu'r gorchymmyn hwn, gyd â chydsyniad y senedd. Gan ddarfod i Hyrcanus, mab Alexander, yr Iuddew, ddangos ei ffyddlondeb a'i ddiwydrwydd ynghylch ein hachosion ni; a hynny yn yr amser presennol, yn gystal a'r un aeth heibio; mewn heddwch, ac yn amser rhyfel, fel y tystiodd amryw o'n cad-flaenoriaid; gan ddyfod i'n cynnorthwyo yn y rhyfel * Alexandraidd diweddaf, gyd a phymtheg cant o filwyr: ac wedi

* Os darllennwn yma am ansicrwydd, anghyfiawnder; megis yn Hanes y Rhyfeloedd, I. 10, fe fydd yr ystyr yn dra dealladwy; os amgen y ddau hanes a ymddangosant i ryw radd yn gwahaniaethu; a darlleniad y fan yn fwy amheus.

† Bod Hyrcanus ei hun yn yr Aipht, gyd ag Antipater yr amser hwn; i ba un yn ganlynol y cyfrifir gweithredirdau hyf a chall y dirprwywr hwn Antipater yn cael eu cyfrif yma, fel y mae'r gorchymmyn hwn o eiddo Julius Cæsar yn golygu: fe sicrheir i ni ymhellach trwy dystiol-

ei ddanfon gennyf fi at Mithridates, a ddangosodd ei hun yn rhagori mewn gwrolder ar yr holl ran arall o'r fyddin: am y rhesymmau hyn fy ewyllys yw, fod Hyrcanus, mab Alexander, a'i blant yn llywiawdwyr ar yr Iuddewon; a meddu o honynt yr archoffeiriadaeth am byth, yn ol defod eu hynafiaid: a bydded efe a'i feibion ein cyngreirwyr, a phob un o honynt mewn cyfeillachrwydd neillduol â ni. Yr wyf hefyd yn ordeinio, fod iddo ef a'i blant gynnal pa ryw ragorfreintiau bynnag a berthyn i swydd archoffeiriad, neu pa ryw ffafr bynnag cyn hyn a ganiatteid iddynt. Ac os ar ryw amser yn ol hyn y cyfyd cwestiwnau ynghylch y defodau Iuddewig, ewyllysiaf iddo ef benderfynu 'r unrhyw. Ac ni thybiaf fod yn gymmwys eu rhwymo hwynt i chwilio i ni am anaf-leoedd; neu i ddim arian gael eu gofyn ganddynt."

"Gorchymmynion Caius Cæsar, consul: yn cynnwys yr hyn a ganiattawyd, ac a benderfynwyd arno, sydd fel y canlyn: Fod i Hyrcanus a'i blant gynnal y llywodraeth ar genedl yr Iuddewon, a chael yr elw oddiwrth leoedd a osodir iddynt. A bod iddo ei hun fel archoffeiriad a llywydd yr Iuddewon, amddiffyn y rhai y gwneler niweid iddynt. A bod i gennadwyr gael eu danfon at Hyrcanus, mab Alexander archoffeiriad yr Iuddewon, a all ymddiddan ag ef am gyngrair o gyfeillgarwch a chydamddiffyniad; a bod i daflen bres, yn cynnwys y testunau rhagosodedig, gael ei harddangos yn y cabidyldy yn Sidon, Tyre, ac Ascelon, ac yn y deml, wedi eu hargraphu mewn llythyrennau Rhufeinaidd a Groegaidd: a bod i'r gorchymmyn hwn gael ei ddanfon i reithwyr a rhaglawiaid yr amryw ddinasoedd, ac i gyfeillachwyr yr Iuddewon, a bod i anrhegion gael eu gwneuthur i gennadwyr: a chael o'r deddfau hyn eu gwneud yn hyspys ym mhob lle."

"Caius Cæsar, gorchymmynwr, pen-rheolwr, a phrif-swyddog, a ganiattaodd o barch i anrhydedd, rhinwedd, a hynawsedd y gwr, ac er mantais senedd a phobl Rhufain, Hyrcanus, mab Alexander, a'i blant i fod yn archoffeiriaid, ac offeiriaid Jerusalem, ac i'r genedl Iuddewig, trwy'r un hawl, ac yn gyttunol â'r un cyfreithiau, wrth ba rai yr oedd eu hynafiaid yn cynnal yr offeiriadaeth."

"Caius Cæsar* (consul, neu brif-swyddog) y pummed gwaith, a orchymmynodd, fod i'r Iuddewon feddiannu Jerusalem; a chylchynu y ddinas honno â muriau: a bod i Hyrcanus, mab Alexander yr archoffeiriad, ei hetifeddu yn y modd ag y gwel efe ei hun yn oreu: a bod i'r Iuddewon gael eu caniattau i dynnu allan o'u teyrnged, bob yn ail flwyddyn y gosodir y tir yn y sabbothol amgylchedd, un corus o'r deyrnged honno. Ac na byddo i'r deyrnged a dalent fod yn farchnadol, na hwythau i dalu yn wastadol yr un deyrnged."

"Caius Cæsar, prif-orchymmynwr yr ail waith, a ordeiniodd, fod i holl wlad yr Iuddewon, oddigerth Joppa, i dalu teyrnged flynyddol † tu ag at y ddinas Jerusalem; oddieithr y seithfed flwyddyn, yr hon a alwant hwy y flwyddyn sabbothol; o herwydd nad ydynt ar honno yn casglu ffrwythydd eu coed, nac yn hau eu tir: a bod iddynt dalu eu teyrnged yn Sidon, ar yr ail flwyddyn o'r amgylchedd sabbothol hwnnw, y bedwerydd ran o'r hyn a hauwyd. Ac heblaw hyn y maent i dalu yr un degymmau i Hyrcanus, a'i feibion, ag a dalent i'w hynafiaid. Ac na byddo i neb rhyw un; na llywydd, rhaglaw, neu gennadwr, godi cynnorthwyadau o filwyr o fewn terfynau Judea. Ac ni all milwyr fynnu arian ganddynt tu ag at eu traul mewn gauaflettŷau, neu ar un cyfrif arall: ond y maent hwy i fod yn rhydd oddiwrth bob math o ormes. A pha beth bynnag a fo ganddynt rhagllaw yn ei feddiannu, neu a brynasant, a gedwir ganddynt. Ein hewyllys hefyd yw, fod i'r ddinas Joppa, ag oedd gynt ym meddiant yr Iuddewon, pan wnaethant gyngrair o gyfeillgarwch â'r Rhufeiniaid, berthynu iddynt hwy megis o'r blaen: a bod i Hyrcanus, mab Alexander, a'i feibion

aeth Strabo, a goffawyd eisoes gan Josephus, Pen. 8. Ond am y pethau manwl eraill yn y gorchymmynion ymherthynas i'r Iuddewon, y rhan fwyaf o ba rai a adferwyd yn ddiweddar yn ein cyhoeddiadau o Josephus; ond y rhai sydd o awdurdod sicraf, trwy eu cydmaru â defodau Rhufeinaidd; a'r goleuni ag sy'n tarddu oddiwrthynt i waith awdwyr Rhufeinig eraill, a hynafiaethau; y maent yn unig yn perthyn i ddysgedigion cyfarwydd mewn achosion Rhufeinaidd; ac ni sefir gan hynny arnynt yn y cyfieithiad Cymreigaidd hwn. Jacobus Gronovius, &c. ynghyhoeddiad Havercamp, a rydd yn gyffredin i'r darllenydd ymofyngar foddlonrwydd cyflawn.

* Gwelwch y nôd ar Pen. 8.

† Ysgatfydd tu ag at ail-adeiladu y muriau, neu eu cadw mewn iawn drefn.

gael, megis teyrnged gan y ddinas honno oddiwrth y rhai a driniant diroedd, a thros yr hyn a ddanfonant allan yn flynyddol o Sidon, ugain mil chwe chant a phymtheg â thrugain modii bob blwyddyn, oddieithr yn y seithfed flwyddyn, yr hon a alwant hwy yn Sabbothol: ar ba un nid ydynt yn aredig, nac yn derbyn ffrwythau eu coed. Ewyllys y senedd hefyd yw, ymherthynas i'r pentrefi yn y gwastadedd mawr, y rhai yr oedd Hyrcanus a'i hynafiaid gynt yn eu hetifeddu; Hyrcanus a'r Iuddewon ydynt i'w meddu gyd a'r un rhagorfreintiau ag mewn amseroedd o'r blaen: a bod yr un prif-reolau yn aros etto mewn grym,ag sy'n perthyn i'w harchoffeiriaid; a'u bod hwy i fwynhau yr un manteision ag oedd iddynt gynt, trwy ganiattâd y bobl, â'r snedd: a bydded iddynt gael mwynhau yr un rhagorfreintiau yn Lydda. Hefyd ewyllys y senedd ydyw, fod i Hyrcanus y llywydd, a'r Iuddewon, gadw meddiant o'r lleoedd, gwledydd, a phentrefi hynny a berthynent i frenhinoedd Syria a Phœnicia, cyngreirwyr y Rhufeiniaid, a'r rhai a roisent iddynt fel eu rhad roddion: caniatteir hefyd i Hyrcanus, ac i'w feibion, a chan y cennadwyr a ddanfonir ganddynt attom ni; a'r ymladdfeydd rhwng cleddyfwyr sengl,ac yn y rhai hynny ag anifeiliaid; fod iddynt gael eistedd ym mhlith y seneddwyr i weled yr ymarferiadau hyn. A phan fyddont yn ewyllysio gwrandawiad, hwy a ddygir i mewn i'r senedd gan y cyfarwyddwr, neu gan flaenor y gwŷr meirch. Ac wedi eu dwyn i mewn, dychwelir attebiadau iddynt ym mhen y deng niwrnod o bellaf, yn ol sefydliad y gorchymmyn perthynol i'w hachosion hwynt."

"Caius Cæsar, deddfwr a chyfarwyddwr y bedwaredd waith, a phrif swyddwr y pummed gwaith, a addefir yn ddeddfwr gwastadol; a wnaeth yr araith hon ymherthynas i hawl a rhagorfreintiau Hyrcanus, mab Alexander yr archoffeiriad, a llywydd yr Iuddewon. Gan ddarfod i'r gorchymmynwyr * hynny a fu ar y taleithiau o'm blaen i, ddwyn tystiolaeth am Hyrcanus, archoffeiriad yr Iuddewon, ac am yr Iuddewon eu hunain; a hynny o flaen senedd a phobl Rhufain; pan y dychwelodd y bobl a'r senedd eu diolch iddynt: da yw i ninnau hefyd yn awr goffâu yr unrhyw; a darparu bod taledigaeth i gael ei wneuthur i Hyrcanus, i genedl yr Iuddewon, ac i feibion Hyrcanus, gan y senedd a phobl Rhufain: a hynny yn gyfaddas i'r ewyllys da a ddangosasant hwy attom ni, a'r anrhegion a gyfranasant."

"Julius Caius, prif-swyddog a llywydd Rhufain, at swyddogion, seneddwyr, a phobl y Pariaid yn anfon annerch. Yr Iuddewon yn Delos, a rhai Iuddewon eraill yn ymdaith yno, ymhresenoldeb eich cennadwyr, a arwyddodd i ni, ddarfod trwy orchymmyn o'r eiddo chwi wahardd iddynt wneuthur ymarferiad o ddefodau eu hynafiaid, a'u trefn o ddwyfol addoli. Yn awr, nid yw wrth fy modd i wneuthur y fath orchymmynion yn erbyn ein cyfeillion a'n cyngreirwyr; trwy'r hyn y gwaherddir iddynt fyw yn ol eu harferiad eu hunain; ac i ddwyn cyfraniadau i mewn at eu cyffredin swpperau a'u gwyliau sanctaidd; pan na waherddir iddynt, ïe yn Rhufain ei hun. Canys ein llywydd, Caius Cæsar ei hun, a'n prif-swyddog, pan waharddodd y terfysgwyr Baccanalaidd eu hunain i gyfarfod yn y ddinas; etto a ganiattaodd i'r Iuddewon hyn, a hwy yn unig, i ddwyn eu casgliadau i mewn, tu ag at eu cyffredin swpperau. Yn ganlynol, pan wyf fi yn gwahardd terfysgwyr Baccanalaidd eraill, yr wyf yn caniattau i'r Iuddewon yma ymgasglu eu hunain ynghyd, yn ol defodau a chyfreithau eu hynafiaid, ac i barhau yn hynny. Da fyddai gan hynny i chwi, os gwnaethoch unrhyw orchymmyn yn erbyn ein cyfeillion hyn a'n cyngreirwyr, i ddiddymmu'r unrhyw; o achos eu rhinwedd a'u hymddygiad gweddus tu ag attom ni."

Yn awr, wedi lladd Caius, pan oedd Marcus Antonius, a Phublius Dolabella yn brif-swyddogion, hwynt-hwy bob un a gynnullasant y senedd; ac a ddygasant i mewn gennadwyr Hyrcanus iddynt, i ymddiddan ynghylch y peth a ddymunasant; gan wneuthur cyngrair o

* Dr. Hudson sy'n meddwl yn uniawn, am y rhaglawiaid neu bennaethiaid byddinoedd Rhufeinig hyn, y rhai a roisant dystiolaeth am ffyddlondeb ac ewyllys da Hyrcanus, a'r Iuddewon i'r Rhufeiniaid, o flaen senedd a phobl Rhufain, mai Pompey, Scaurus, a Gabinius oeddynt. Am bob un o ba rai yr oedd Josephus eisoes wedi rhoddi hanes, cyn belled ag yr oedd perthynas rhwng yr Iuddewon â hwynt.

gyfeillgarwch â hwynt. Y senedd hefyd a gyttunodd i ganiattau iddynt yr hyn oll a ddymunasant. Chwanegaf y gorchymmyn ei hun; fel y b'o i'r rhai a ddarllenant y gwaith hwn, fod ganddynt brawf yn barod o wirionedd yr hyn a ddywedwn.

"Gorchymmyn y senedd, a gopiwyd allan o'r drysorfa, o'r tablau cyhoeddus perthynol i'r rheithwyr: pan oedd Quintus Rutilius, a Caius Cornelius yn rheithwyr; ac wedi ei gymmeryd allan o ail daflen y rhestr gyntaf. Ar y trydydd dydd o flaen yr ides o Ebrill, yn nheml y Cydfod. Yr ydoedd yn bresennol ar ysgrifeniad y gorchymmyn hwn Lucius Calpurnius Piso, o'r llwyth Meneniaidd; Servius Papinius Potitus, o'r llwyth Lemoniaidd; Caius Caninius Rebilius, o'r llwyth Terentiaidd; Publius Tiderius; Lucius Apulinus, mab Lucius, o'r llwyth Sergian; Flavius, mab Lucius, o'r llwyth Lemonaidd; Publius Platius, mab Publius, o'r llwyth Papiraidd; Marcus Acilius, mab Marcus, o'r llwyth Mersiaidd; Lucius Erucius, mab Lucius, o'r llwyth Stellataidd; Marcus Quintius Plancillus, mab Marcus, o'r llwyth Polliaidd; a Phublius Serius. Publius Dolabella, a Marcus Antonius y prif-swyddogion, a wnaethant y cyfeiriad hwn at y senedd, ymherthynas i'r pethau hynny, y rhai trwy orchymmyn y senedd, a farnodd Caius Cæsar ynghylch yr Iuddewon; ac etto hyd yn hyn na ddygasid y gorchymmyn hwnnw i'r drysorfa; ein hewyllys yw, megis y mae hefyd yn ddymuniad Publius Dolabella, a Marcus Antonius, y prif-swyddogion, fod i'r gorchymmynion hyn gael eu dodi i mewn yn y tablau cyhoeddus, a'u dwyn at y rheithwyr dinasaidd, fel y b'o iddynt hwy ofalu ar eu rhoddi yn y taflennau dwbl. Hyn a wnaethpwyd o flaen y pummed o ides Chwefror, yn nheml y Cydfod. Yn awr, y cennadwyr oddiwrth Hyrcanus yr archoffeiriad ydoedd, Lysymachus, mab Pausanias; Alexander, mab Theodorus; Patroclus, mab Chereas; a Jonathan, mab Onias."

Hyrcanus hefyd a ddanfonodd un o'r cennadwyr hyn at Dolabella, yr hwn oedd y pryd hyny yn rhaglaw Asia; i ddymuno arno ollwng yr Iuddewon oddiwrth wasanaethu tan arfau; a chynnal iddynt hwy ddefodau eu hynafiaid, a rhoddi iddynt ganiattâd i fyw yn ol yr unrhyw. Ac wedi i Dolabella dderbyn llythyr Hyrcanus, heb wneud dim ystyriaeth ymhellach, efe a ddanfonodd epistol at yr holl Asiaid, ac yn enwedig i ddinas yr Ephesiaid, prif-ddinas Asia, ynghylch yr Iuddewon: copi o ba epistol a ganlyn yma.

"Pan oedd Artemon yn olygwr, ar y dydd cyntaf o'r mis Leneon; Dolabella, gorchymmynwr, at y senedd, swyddogion, a phobl yr Ephesiaid, yn anfon anfon annerch. Alexander, mab Theodorus, cennadwr Hyrcanus, mab Alexander yr archoffeiriad a llywydd yr Iuddewon, a ymddangosodd o'm blaen i; gan ddangos na allai ei gyd-wladwyr ymrwymo gyd â'n byddinoedd ni, o herwydd na lwfir iddynt ddwyn arfau nac ymdaith ar y Sabbothau; ac ni allant arlwyo yno y cyfryw fwydydd ag y maent hwy yn ei arferyd er dyddiau eu tadau. Yr wyf gan hynny yn eu rhyddhau oddiwrth fyned i'r fyddin, fel ag y gwnaeth y rhaglawiaid o'r blaen; ac yn caniattau iddynt arfer defodau eu hynafiaid, trwy ymgynnull ynghyd i ddibenion crefyddol a chyssegredig, fel y mae eu cyfraith yn gofyn; ac i gasglu rhoddion angenrheidiol yn aberthau: a'm hewyllys yw ar i chwi ysgrifennu hyn at yr amrywiol ddinasoedd tan eich llywodraethiad."

Dyma'r caniattâd a wnaeth Dolabella i'n cenedl ni, pan ddanfonodd Hyrcanus gennadwri atto. Ond gorchymmyn Lucius y prifswyddog a redodd fel hyn: "Darfu im' wrth fy mrawdle, osod yr Iuddewon hynny, y rhai ydynt ddinasyddion Rhufain, ac yn dilyn defodau crefyddol yr Iuddewon, ac etto yn byw yn Ephesus, eu rhyddhau hwynt oddiwrth fyned i'r rhyfel, ar gyfrif y goel-grefydd y maent tani. Hyn a wnaethpwyd o flaen y deuddegfed o'r calendau Hydref, pan oedd Lucius Lentullus, a Caius Marcellus yn brif-swyddogion. Ymhresennoldeb Titus Appius Balgus, mab Titus, a rhaglaw y llwyth Horatiaidd; Titus Tongius, mab Titus, o'r llwyth Crustamiaidd; Quintus Resius, mab Quintus; Titus Pompeius Longinus,

mab Titus; Caius Servilius, mab Caius, o'r llwyth Terentiaidd; Bracchus, o'r frawdle filwraidd; Publius Lucius Gallus, mab Publius, o'r llwyth Veturiaidd; Caius Sentius, mab Caius, o'r llwyth Sabbatiaidd; Titus Atilius Bulbus, mab Titus, rhaglaw ac is-swyddog; at y swyddogion, y senedd, a phobl yr Ephesiaid, yn anfon annerch. Lucius Lentulus, y priflywydd, a ryddhaodd yr Iuddewon sydd yn Asia, oddiwrth ymgyssylltu â'r byddinoedd, trwy fy erfyniadau i trostynt. Ac wedi im' wneuthur yr un deisyfiad, at Phanius, y gorchymmynwr, ac at LuciusAntonius y rheithiwr, derbyniais y rhagorfraint hon hefyd ganddynt. A'm hewyllys yw ar ofalu o honoch na fyddo i neb beri dim aflonyddwch iddynt."

Gorchymmyn y Deliaid. "Attebiad y pretoriaid, pan oedd Beotus yn rhaglaw; ar yr ugeinfed dydd o'r mis Thargeleon. Pan oedd Marcus Piso y llywiawdwr yn byw yn ein dinas ni: yr hwn hefyd a appwyntiwyd yn olygwr ar y milwyr detholedig: yr hwn a'n galwodd ni, ac amryw eraill o'r dinasyddion; gan roddi gorchymmyn, os ydoedd yn ein mysg rai Iuddewon ag oedd yn ddinasyddion Rhufeinaidd, na aflonyddo neb hwynt ynghylch myned i'r fyddin; o herwydd ddarfod i Cornelius Lentulus, y prifraglaw, ryddhau yr Iuddewon oddiwrth ymgyssylltu â'r fyddin, ar gyfrif y goel-grefydd y maent tani. Yr ydych gan hynny yn rhwym i ymostwng i'r gorchymmynwr." A'r cyffelyb orchymmyn a osodwyd allan hefyd gan y Sardiaid.

"Caius Phanius, mab Caius, gorchymmynwr a phrif-swyddog, at swyddogion Cos, yn anfon annerch. Ewyllysiwn i chwi wybod, fod y cennadwyr oddiwrth yr Iuddewon gyd â mi; gan ddymuno cael y cyhoeddiadau a osodasid allan gan y senedd ymherthynas iddynt hwy: pa ryw gyhoeddiadau gorchymmynol a gyssylltir yma. Fy ewyllys yw i chwi barchu, a bod yn ofalus ymherthynas i'r bobl hyn, yn gyfattebol i orchymmyn y senedd; fel y cyfarwydder hwy mewn diogelwch adref trwy eich gwlad chwi."

Cyhoeddiad Lucius Lentullus, y prif-raglaw. "Gollyngais ymaith yr Iuddewon hynny y rhai ydynt ddinasyddion Rhufeinig; a'r rhai sydd yn ymddangos i mi fod ganddynt ddefodau crefyddol, ac yn gwneud sulw o'r cyfreithiau sydd gan yr Iuddewon yn Ephesus, ar gyfrif y goel-grefydd y maent tani." Y weithred hon a wnaethpwyd y trydydd ar ddeg o galendau Hydref.

Lucius Antonius, mab Marcus, îs-reithiwr ac ynad. At y swyddogion, y senedd, a phobl y Sardiaid, yn anfon annerch. Yr Iuddewon hynny ag ydynt gyd-ddinasyddion Rhufain â ni, a amlygasant fod ganddynt gynnulliad o'r eiddynt eu hunain, yn gyttûn â chyfreithiau eu tadau, a hyn o'r dechreuad; megis hefyd frawdle iddynt eu hunain, lle y maent yn penderfynu eu hachosion a'u hymrysonau y naill â'r llall. Ar eu herfyniad gan hynny attaf fi, ar fod hyn yn gyfreithlon iddynt; gorchymmyn yr wyf gynnal y rhagorfreintiau hyn; a chaniattau iddynt hwy wneuthur yn ganlynol."

Cyhoeddiad Marcus Publius, mab Spurius; a Marcus, mab Marcus; a Lucius mab Publius. "Nyni a aethom at y prif-swyddog; ac a hyspysasom iddo yr hyn yr oedd Dositheus, mab Cleopatrida, yn ei ddymuno: megis, os gwelai efe yn oreu, y gollyngai ymaith y rhai oeddynt ddinasyddion Rhufain, ac yn arfer sylwi ar ddefodau y grefydd Iuddewig, oblegid y goelgrefydd yr oeddynt tani. Yn ganlynol efe a'u gollyngodd hwynt. Hyn a wnaethpwyd y trydydd ar ddeg o'r calendau Hydref."

"Yn mis Quintilis, pan oedd Lucius Lentulus, a Caius Marcellus, yn brif-swyddogion; ac yr oedd yn bresennol Titus Appius Balbus, mab Titus, rhaglaw, o'r llwyth Horatiaidd; Titus Tongius, o'r llwyth Crustumiaidd; Quintus Retius, mab Quintus; Titus Pompeius, mab Titus; Cornelius Longinus; Caius Servilius Bracchus, mab Caius, barnwr milwraidd, o'r llwyth Terentiaidd; Publius Clusius Gallus, mab Publius, o'r llwyth Veturiaidd; Caius Teutius, mab Caius, barnwr milwraidd, o'r llwyth Emiliaidd; Sextus, Antilius Serranus, mab Sextus, o'r llwyth Esquilaidd; Caius Pompeius, mab Caius, o'r llwyth Sabataidd; Titus Appius Menander, mab Titus; Publius Servilius Strabo, mab Publius; Luccius Paccius Capito, mab Lucius, o'r llwyth Colliaidd; Aulus Furius Tertius, mab

Aulus; ac Appius Menas. Ymhresenoldeb y gwŷr hyn, Lentulus a adroddodd y gorchymmyn hwn. Myfi o flaen y frawdle a ryddheais yr Iuddewon hyn, y rhai ydynt ddinasyddion Rhufain, ac a ydynt arferol o sylwi ar ddefodau cyssegredig yr Iuddewon yn Ephesus, ar gyfrif y goel-grefydd y maent tani."

"Swyddogion y Laodiceaid, at Caius Rubilius, mab Caius, y consul, yn anfon annerch. Sopater, cennadwr Hyrcanus yr archoffeiriad, a ddygodd i ni epistol oddiwrthyt; trwy'r hwn y mae yn ein gwneud yn adnabyddus, fod rhai cennadwyr wedi dyfod oddiwrth Hyrcanus, archoffeiriad yr Iuddewon, gan ddwyn epistol ysgrifenedig gyd â hwynt ymherthynas i'w cenedl: ym mha un y maent yn dymuno i'r Iuddewon gael eu caniattau i wneud sulw o'u Sabbothau, a defodau cyssegredig eraill, yn ol cyfreithiau eu hynafiaid; ac na rwystrer hwynt yn yr unrhyw, y rhai ydynt ein cyfeillion a'n cyngreirwyr; ac na fyddo i neb eu niweidio hwynt yn ein hardaloedd. Yn awr, er i'r Tralliaid sydd yno yn bresennol eu gwrthwynebu, ac na foddhawyd hwynt â'r deddfau hyn, etto tydi a roddaist orchymmyn i wneud sulw o honynt: ac a hyspysaist ddarfod erchi i ti ysgrifennu hyn attom o'u plegid. Yr ydym gan hynny mewn ufudd-dod i'r annogaethau a dderbyniasom oddi wrthyt, a derbyniasom dy epistol; ac a'i gosodasom ym mhlith ein coffadwriaethau cyffredin. Ac ymherthynas i bethau eraill, ynghylch pa rai yr anfonaist attom, cymmerwn ofal na chaffo dim achwyniaeth gael ei wneuthur i'w herbyn."

"Publius Servilius, mab Publius, o'r llwyth Galban, prif-swyddog; at y swyddogion, y senedd, a phobl y Milesiaid, yn anfon annerch. Prytanes, mab Hermes, dinesydd o'r eiddo chwi, a ddaeth attaf pan oeddwn yn Tralles, ac y cedwais lŷs yno: gan hyspysu i mi ddarfod i chwi ymddwyn tu ag at yr Iuddewon mewn ffordd wahanol i'm tŷb i; gan wahardd iddynt gadw eu Sabbothau, a chyflawni y defodau cyssegredig a dderbyniasant oddiwrth eu tadau; ac i ddefnyddio ffrwythau eu tiroedd yn ol eu harferiad hynafiaethol; ac mai efe ei hun oedd cyhoeddwr eich gorchymmyn fel y mae eich cyfreithiau yn gofyn. Ewyllysiwn gan hynny i chwi wybod, wedi gwrando o honof ar y ddadl o bob tu, roddi o honof ddedryd, na fyddai i'r Iuddewon gael eu gwahardd i wneud arferiad o'u defodau eu hunain."

"Gorchymmyn y rhai hynny o Pergamus. Pan oedd Cratippus yn ben-swyddog, ar y dydd cyntaf o'r mis Desius, gorchymmyn y deddfwyr ydoedd hyn. Yn gymmaint a bod y Rhufeiniaid, gan ddilyn arfer eu hynafiaid, yn ymostwng i beryglon er diogelwch cyffredin i holl ddynolryw; ac ydynt awyddus i sefydlu eu cyngreirwyr a'u cyfeillion mewn 'stad o ddedwyddwch, ac mewn heddwch sicr: a chan ddarfod i genedl yr Iuddewon, a'u harchoffeiriad Hyrcanus, anfon fel cennadwyr attynt, Strabo mab Theodatus; Apollonius mab Alexander; Eneas mab Antipater; Aristobulus, mab Amyntas; a Sosipater mab Philip, dynion da a pharchus; y rhai a roisant hanes neillduol o'u hachosion: y senedd ar hynny a wnaethant orchymmyn, ynghylch yr hyn a geisiasant ganddynt: na fyddai i Antiochus y brenin, mab Antiochus, wneuthur niweid i'r Iuddewon, cyngreirwyr y Rhufeiniaid: a bod i'r amddiffynfeydd a'r porthladdoedd, a'r wlad, ynghyd â phob peth arall a gymmerodd oddiarnynt, gael eu hadferyd: a bod yn gyfreithlon iddynt hwy ddanfon eu heiddo allan o'u porthladdoedd eu hunain: ac na fyddo i un brenin neu bobl gael caniattâd i ddanfon un math o eiddo allan o wlad Judea, neu eu porthladdoedd, heb dalu teyrnged; ond yn unig Ptolemy, brenin Alexandria; o herwydd mai ein cyngreirwr a'n cyfaill yw efe: a bod, yn ol eu dymuniad, i wersyll Joppa gael ei bwrw allan. Yn awr, Lucius Pettius, un o'n seneddwyr, gwr da a theilwng, a roddes orchymmyn, ar fod i'r pethau hyn gael eu gwneuthur, yn ol gorchymmyn y senedd; ac ar fod i'w cennadwyr ddychwelyd adref mewn diogelwch. Yn ganlynol nyni a dderbyniasom Theodorus i'n senedd, ac a gymmerasom yr epistol o'i ddwylaw ef, yn gystal â gorchymmyn y senedd. Ac fel yr oedd efe yn ymddiddan gyd â gwresogrwydd mawr ynghylch yr Iuddewon, ac yn descrifio rhinwedd Hyrcanus, a'i haelioni, a'i

fod ef yn gymmwynaswr i bob dynion yn gyffredin; ac yn enwedig i bawb a ddeuant atto ef; nyni a osodasom yr epistol i mewn yn llyfr ein coffadwriaethau cyhoeddus; ac a luniaethasom orchymmyn ein hunain, gan ein bod ninnau hefyd mewn cyngrair â'r Rhufeiniaid; ewyllysiem wneuthur yr hyn a allom i'r Iuddewon, yn gyfattebol i orchymmyn y senedd. Theodorus hefyd yr hwn a ddug attom yr epistol, a ddeisyfodd ar ein pretoriaid, ar ddanfon o honynt i Hyrcanus gopi o'r gorchymmyn hwnnw; megis hefyd gennadwyr i arwyddo iddo ef ewyllys da ein pobl; ac i'w cynghori i gynnal i fynu, a chynnyddu yn eu cyfeillgarwch â ni; a bod yn barod i wneuthur i'n cenedl bob llesâd arall; megis eu bod yn gyfiawn ddisgwyl taledigaethau addas oddiwrthym ni: a dymuno arnynt gofio fod ein * hynafiaid yn gyfeillgar i'r Iuddewon, ïe, yn nyddiau Abraham, yr hwn oedd dad yr Hebreaid; fel ag y cawsom wedi ei ddodi i lawr hefyd yn ein 'sgrifenadau coffadwriaethol."

"Gorchymmyn y rhai o Halicarnassus. Pan oedd Memnon, mab Orestidas, trwy achau; ond trwy fabwysiad o Euonymus, yn offeiriad, yn y mis Aristerion; gorchymmyn y bobl, ar gennadwriaeth Marcus Alexander ydoedd hyn. Yn gymmaint a'n bod bob amser â chennym barch i grefydd tu ag at Dduw, ac i sancteiddrwydd: a chan fod ein hamcan i ddilyn pobl y Rhufeiniaid, y rhai ydynt gymmwynaswyr pob dynion; a'r hyn a 'sgrifenasant attom ynghylch cyngrair o gyfeillgarwch a chydamddiffyniad rhwng yr Iuddewon â'n dinas hon; a bod i'w swyddau cyssegredig, a'u gwyliau defodol, a'u cydgynnulliad gael eu cynnal ganddynt: nyni a orchymmynasom, fod i gynnifer o feibion a merched o'r Iuddewon ag sydd â chanddynt ewyllys, ganiattau iddynt gadw eu Sabbothau, a chyflawni eu dyledswyddau sanctaidd yn ol cyfreithiau yr Iuddewon, a † chyflawni eu proseuchae, neu weddiau neillduedig ar lan y môr, yn ol arfer eu teidiau. Ac os bydd i ryw un, pa un bynnag ai swyddog neu ddyn neillduol eu lluddias i hynny, efe a fydd ddarostyngedig i ddirwy, a ddefnyddir at achosion y ddinas."

"Gorchymmyn y Sardiaid. Y gorchymmyn hwn a wnaethpwyd gan y senedd a'r bobl, ar gynnrycholiad y pretoriaid neu'r brawdwyr. Yn gymmaint a bod yr Iuddewon ag sy'n gyddinasyddion, ac yn byw gyd â ni yn y ddinas hon, wedi cael, lawer o amserau, arwyddion o haelioni a charedigrwydd ein pobl tu ag attynt; a chael o honynt ddyfodiad yn awr i'n senedd, i ddeisyf gan y bobl, ar adferiad o'u cyfraith, a'u rhyddid gan senedd a phobl Rhufain, ganiattâd i ymgynnull eu hunain, yn ol eu defod hynafiaethol a chyfreithlon; ac na fydd i ni ddwyn dim cwyn i'w herbyn ynghylch hynny: a bod i le gael ei roddi, lle y gallont fod yn gynnulleidfa, gyd a'u gwragedd a'u plant; ac offrymmu, fel eu tadau, weddiau ac aberthau i Dduw. Yn awr, y senedd a'r holl bobl a gyttunasant i ganiattau iddynt ymgynnull ynghyd ar y dyddiau appwyntiedig gynt, a gweithredu yn ol eu cyfreithiau: a bod i'r cyfryw le gael ei neillduo iddynt gan y brawdwyr, i adeiladu a phreswylio ynddo, ag a farnant hwy yn gymmwys i hynny. A bod i'r rhai sy'n gofalu tros gynnaliaeth y ddinas, gymmeryd gofal fod y fath luniaeth ag a farnont hwy yn addas i'w ddefnyddio ganddynt, gael ei ddwyn i mewn i'r ddinas."

"Gorchymmyn yr Ephesiaid. Pan oedd Menophilo yn llywydd; ar y dydd cyntaf o'r mis Artemisius, yr ordinhad yma a osodwyd allan gan y bobl; a Nicanor, mab Euphemus, a'i gosododd allan, ar gynnrycholiad y barnwyr.

Yn gymmaint ag i'r Iuddewon sydd yn byw yn y ddinas wneuthur deisyfiad at Marcus Julius Pompeius, mab Brutus, y prif-ynad, ar iddynt gael eu caniattau i wneud sulw o'u

* Y mae gennym yma dystiolaeth hynod ac awdurdodol dinasyddion Pergamus, fod Abraham yn dad yr holl Hebreaid; fod eu hynafiaid eu hunain, yn yr amseroedd hynaf, yn gyfeillion yr Hebreaid hynny; a bod gweithredoedd cyhoeddus eu dinas, y pryd hynny mewn bod, yn cadarnhau yr unrhyw. Y dystiolaeth yma sydd ry gadarn i'w hosgoi gan ein presennol anwybodaeth o'r neillduol achos o'r fath gyfeillgarwch ac undeb hynafiaethol rhwng y bobloedd hyn. Gwelwch y cyffelyb dystiolaeth gyflawn o garennydd y Lacedæmoniaid a'r Iuddewon; a hynny oblegid eu bod bob un yn had Abraham, trwy epistol cyhoeddus y bobl hynny at yr Iuddewon; cadwedig yn llyfr cyntaf y Maccabeaid, xii. 19---23, ac oddiyno gan Josephus, yn ei hynafiaethau, XII. 4, pob un o ba ryw goffadwriaethau awdurdodol, ydynt yn werthfawr. Y mae hefyd yn deilwng o sulw, yr hyn ag y mae Moses Chorenensis, y prif-hanesydd Armenaidd yn ein hyspysu o hono, t. d. 83, fod Arsaces, yr hwn a gyfododd ymmerodraeth y Parthiaid, o had Abraham, gan ei wraig Cetura; ac mai trwy hynny y cyflawnid y rhagfynegiad hwnnw, a ddywed, "Brenhinoedd cenhedloedd fydd o honot ti." Gen. xvii. 6.

† Gwel y nôd ar Llyfr XII. pen. 2.

Sabbothau; ac ymarfer ym mhob peth yn ol defodau eu hynafiaid, heb eu rhwystro gan neb; y prif-farnwr a ganiattaodd eu deisyfiad. Yn ganlynol fe orchymmynwyd gan y senedd a'r bobl, fod, ar yr achos hwn ag a berthyn i'r Rhufeiniaid, na byddo i neb eu lluddias i gadw y dydd Sabboth, na chael eu dirwyo am wneuthur hynny: ond bod iddynt gael eu caniattau i wneuthur pob peth yn gyttunol â'u cyfreithiau."

Yn awr, y mae* amryw o'r fath osodedigaethau o eiddo'r senedd a phrif-swyddogion Rhufain, ac yn wahanol i'r rhai hynny sydd o'n blaen, y rhai a wnaethpwyd o ffafr i Hyrcanus, a'n cenedl ni: megis y bu hefyd ychwaneg o ordeiniadau'r dinasoedd, ac adsgrif y barnwyr gyd â'r fath epistolau ag a berthynent i'n hawl a'n rhagorfreintiau. Ac yn sicr y rhai na fyddont ragfarnllyd at yr hyn yr ydym yn ysgrifennu, a allant gredu eu bod oll yn tueddu at hyn; a hynny trwy y siamplau yma a osodasom o'u blaen: canys wedi i ni ddwyn profiadau eglur a ellir etto eu golygu, o'r cyfeillgarwch oedd rhyngom â'r Rhufeiniaid; a dangos fod y nodau hyn wedi eu hargraphu ar golofnau mewn taflennau o bres yn y cabidyldy, Rhufain, ag sydd etto mewn bod, ac wedi eu cadw hyd y dydd hwn, gadawsom heibio eu dodi oll i mewn, megis peth afreidiol ac o ychydig ddefnydd. Canys ni thybiaf fod neb mor wrthnysig a'r na chredant am y cyfeillgarwch a fu rhyngom â'r Rhufeiniaid, pan ddarfu iddynt amlygu yr unrhyw tu ag attom, trwy amldra mawr eu cyhoeddiadau ymherthynas i ni: ac ni amheuant ein ffyddlondeb mewn perthynas i weddill y cyhoeddiadau hynny: gan wneuthur o honom ddangosiad o'r unrhyw yn y rhai a ddygasom i mewn. Ac fel hyn y darfu i ni egluro yn ddigonol, am y cyngrair a'r cyfeillgarwch a fu rhyngom yr amseroedd hynny â'r Rhufeiniaid.

## PENNOD XI.

*Marcus † yn meddiannu arglwyddiaeth Syria, yn ol llofruddiaeth Sextus Cæsar; Cassius yn dyfod i Syria, ac yn difrodi Judea; a Malichus, wedi yn fradychlyd ladd Antipater, yn cael ei ladd gan Herod.*

YNGHYLCH yr amser hwn, ‡ yr ydoedd achosion Syria tan annhrefn mawr, trwy'r achlysur canlynol. Cecilius Bassus, un o blaid Pompey, a amcanodd fradwriaeth yn erbyn Sextus Cæsar, ac a'i lladdodd ef; ac yna a gymmerodd ei fyddin, ac a gafodd drefniad yr achosion cyffredin i'w ddwylaw ei hun. Felly fe gyfododd rhyfel mawr o amgylch Apamia; pan ddaeth cad-flaenoriaid Cæsar yn ei erbyn, gyd â byddin o wŷr meirch a gwŷr traed. At y rhai hyn hefyd Antipater a ddanfonodd gynnorthwyon, a'i feibion gyd â hwynt; gan alw i'w cof y cymmwynasau a dderbyniasent hwy gan Cæsar; ac ar y cyfrif hwnnw fe dybiodd yn gyfiawn ofyn am gospedigaeth a dial ar y dyn a'i lladdasai ef. Ac fel yr oedd y rhyfel yn § tynnu i barhad mawr, daeth Marcus o Rufain i gymmeryd llywodraeth Sextus i'w ddwylaw ei hun. Ond Cæsar a laddwyd gan Cassius a Brutus yn y senedd-dŷ, yn ol iddo feddiannu'r llywodraeth, tros dair blynedd a chwe mis.

Fel yr oedd y rhyfel a gyfododd ar farwolaeth Cæsar yn awr wedi ‖ dechreu; a'r gwŷr pennaf i gyd wedi myned ymaith; rai un ffordd, ac eraill ffordd arall i godi byddinoedd; Cassius a ddaeth o Rufain i Syria, mewn trefn i dderbyn y fyddin oedd yn gorwedd yngwersyll Apamia; ac wedi symmud y wersylfa, efe a ddug trosodd Bassus a Marcus at ei blaid ei hun. Yna efe a aeth tros y dinasoedd, ac a gasglodd arfau a milwyr, gan osod trethi mawr ar y dinasoedd hynny. Ac efe yn bennaf a orthrymmodd Judea, gan godi

* Os cymharwn addewid flaenorol Josephus, gyd â'i esgusodiad yma am adael o'r neilldu amryw o honynt; gallwn sylwi, mai pan ddaeth i ail-'sgrifennu yr holl ddeddfau hynny a gasglodd, ddarfod iddo eu cael mor lliosog, ag i feddwl y blinai ei ddarllenyddion pe buasai yn anturio gwneuthur hynny; yr hyn a farnodd yn esgus digonol am adael ar ol y gweddill o honynt. Etto y mae y rhai a ddygwyd ar gyhoedd ganddo, yn gadarnhad cryf o'i hanesiad; ac yn rhoi mawr oleuni i hynafiaethau y Rhufeiniaid eu hunain; fel y tybiaf na fydd i rai manwl-ymofyngar fod tan ychydig o sorriant am y fath esgusodiad.

† Am Marcus, y rhaglaw hwn o Syria, wedi ei ddanfon fel dilyniedydd Sextus Cæsar; yr haneswyr Rhufeinaidd sy'n ein cyfarwyddo i ddarllain Murcus yn Josephus; a hynny yn wastadol yn yr Hynafiaethau hyn, a Hanes y Rhyfeloedd, fel y mae'r dysgedigion oll yn cyttuno. Pa un a ddarfu iddo yn gyntaf ysgrifennu Marcus neu Murcus; neu pa un a ddarfu i'r transgrifwyr roi enw arferol yn lle un anarferol i lawr, yr hyn a feddylir nad oedd anghyffredin yn eu mysg, ni ellir yn awr ei wybod.

‡ Bl. 45.

§ Yr achos o barhad y rhyfel hwn yn Apamia, cyn mwrddrad Cæsar, Dr. Hudson a sylwia, fod amlygrwydd o hono yn Strabo XVI. t. d. 752, ond bod y darlleniad oll yn rhy faith i'w gynnwys yma. Gwel Prid. ar y blynyddoedd 46, 45, 44, 43.

‖ Bl. 44.

oddi yno saith mil o dalentau. Ond Antipater pan welodd y wladwriaeth yn y fath derfysg ac annhrefn, efe a rannodd gasgliad y swm honno, gan appwyntio ei ddau fab i'w chynnull hi. Ac felly y rhan hynny o honi oedd i'w gasglu oddiwrth Malichus, yr hwn oedd o duedd angharedig tu ag atto; a rhan gan eraill. Ac o herwydd i Herod godi yr hyn oedd ofynnol ganddo ef oddiwrth Galilea, yr ydoedd mewn ffafr fwyaf gyd â Cassius. Canys efe a'i barnodd yn gallineb i dynnu cyfeillach â'r Rhufeiniaid; ac i ynnill eu hewyllys da ar gost eraill. Pryd ag yr oedd golygwyr dinasoedd eraill, ynghyd â'u dinasyddion yn cael eu gwerthu yn gaeth-weision: a Cassius a ddarostyngodd bedair dinas i 'stad o gaethiwed: y ddwy bennaf o ba rai oedd Gophna ac Emmaus; ac heblaw y rhai hyn Lydda a Thamna.Ië, yr oedd Cassius mor dra digllon wrth Malichus, ag y buasai yn ei ladd ef, pe na buasai i Hyrcanus, trwy'r moddion o Antipater, ddanfon iddo gan talent o'i eiddo ei hun, a thrwy hynny a arafodd ei ddigter.

Wedi i Cassius fyned allan o Judea, Malichus a osododd faglau i Antipater; gan feddwl y byddai ei farwolaeth ef yn foddion i ddiogelu llywodraeth Hyrcanus. Ond Antipater a ganfu ei amcan, ac a aeth ymaith tu hwnt i'r Iorddonen; ac a gasglodd fyddin ynghyd; rhan o honi yn Arabiaid, a rhan arall o'i wladwyr ei hun. Pa fodd bynnag, â Malichus yn un o gyfrwysdra mawr, a wadodd na osodasai efe faglau iddo; gan amddiffyn ei hun trwy lŵ, wrtho ef a'i feibion; gan ddywedyd, Mai tra'r oedd gan Phasaelus wersyll yn Jerusalem, a'r arfau rhyfel gan Herod yn ei gadwraeth, na's gallai efe erioed feddwl y fath beth. Felly Antipater yn dychymmygu y blinder yr oedd ynddo, a gymmodwyd ag ef, ac a wnaethant gyttundeb â'u gilydd. Hyn a fu pan oedd Marcus yn rhaglaw Syria; yr hwn ag efe etto yn canfod yr aflonyddwch ag oedd y Malichus hwn yn ei wneuthur yn Judea; a aeth ymlaen mor belled ag iddo agos ei ladd ef: ond etto ar erfyniad Antipater efe a'i harbedodd ef.

Antipater pa fodd bynnag ni feddyliodd ond ychydig, mai trwy gadw Malichus, ei fod yn achub ei lofrydd ei hun. Canys yn awr yr oedd Cassius a Marcus wedi cael byddin ynghyd, gan roddi ei gofal yn hollol i Herod; gan ei wneuthur ef yn gâd-flaenor byddinoedd Cœlesyria: gan drefnu iddo nifer o longau, a byddin o wŷr meirch, a thraed; ac addaw wedi i'r rhyfel fyned trosodd, y gwnaent ef yn frenin Judea. Canys dechreuasai rhyfel eisoes rhwng Antony a Cæsar ieuangaf. Ond fel yr oedd Malichus yn bennaf yn ofni Antipater, efe a'i cymmerodd oddiar y ffordd; trwy gynnyg arian i bentrulliad Hyrcanus, gyd â'r hwn yr oeddynt ill-dau i wledda, i'w ladd ef â gwenwyn.* Wedi gwneuthur hyn, ac â chanddo wŷr arfog gyd ag ef, efe a sefydlodd achosion y ddinas. Ond wedi i feibion Antipater, Herod a Phasaelus, gael eu gwneud yn hyspys o'r fradwriaeth hon yn erbyn eu tad, a hwy yn llidiog o'u herwydd, Malichus a wadodd y cwbl; gan hollol ddiarddelwi gwybodaeth am y llofruddiad. Ac fel hyn y bu farw Antipater; gwr a wahaniaethodd ei hun o ran ei dduwioldeb, ei gyfiawnder, a'i gariad i'w wlad. A phan oedd Herod yn ddioed yn bwriadu dial marwolaeth ei dad; ac yn dyfod ar warthaf Malichus gyd â llu arfog i'r diben hwnnw; yr hynaf o'i feibion, Phasaelus a dybiodd yn oreu yn hytrach i gael y dyn hwn i'w dwylaw trwy gyfrwysdra, rhag ymddangos o honynt fel rhai yn dechreu rhyfel cartrefol yn eu gwlad. Felly efe a gymmeradwyodd amddiffyniad Malichus; gan gymmeryd arno gredu nad oedd llaw ganddo yn nhrais-farwolaeth ei dad Antipater: ac a adeiladodd fedd-faen hardd arno. Herod hefyd a aeth i Samaria: a phan gafodd hwynt mewn blinder mawr, efe a adfywiodd eu hysprydoedd, ac a wastattäodd eu hymrafaelion.

Mewn byrr amser ar ol hyn, ar nesâd un o'u gŵyliau, Herod a ddaeth gyd â'i filwyr i'r ddinas: ar ba achos Malichus a gyffröwyd; ac a berswadiodd Hyrcanus i luddias ei ddyfodiad i mewn i'r ddinas: Hyrcanus a gydsyniodd: ac ac fel esgus o'i wrthodiad a ddywedodd wrtho, na ellid derbyn tyrfa o ddieithriaid i mewn pan ydoedd y lliaws yn eu † puro eu hunain. Ond ni wnaeth Herod ond ychydig o gyfrif o'r neges-

* Bl. 43. † Gwel Ioan xi. 55.

euwyr a ddanfonwyd atto; ond efe a aeth i mewn i'r ddinas yn y nos, ac a ddychrynodd Malichus. Etto ni leihaodd ddim ar ei ffuantrwydd o'r blaen: ond a ŵylodd am Antipater, ac a gwynfanodd am dano fel ei gyfaill â llais uchel. Ond Herod a'i gyfeillion a dybiasant yn gymmwys i beidio yn gyhoeddus wrthwynebu rhagrith Malichus; ond i roi iddo arwyddion o gydgyfeillachrwydd, mewn trefn i ragflaenu ei amheuaeth o honynt.

Pa fodd bynnag, Herod a ddanfonodd hanes am lofruddiaeth ei dad at Cassius; yr hwn yn gwybod y fath ddyn ydoedd Malichus ymherthynas i'w foesau, a ddanfonodd air yn ol, ar fod iddo ddial marwolaeth ei dad: ac hefyd fe ddanfonodd yn ddirgel at flaenoriaid ei fyddin yn Tyre, gyd â gorchymmyn i gynnorthwyo amcan tra chyfiawn. Yn awr, pan gymmerodd Cassius Laodicea, hwy oll a aethant ynghyd atto ef, gan ddwyn coron-bleth o lysiau ac arian gyd â hwynt. A Herod a feddyliodd y gellid cospi Malichus tra fyddai efe yno. Ond yr ydoedd mewn rhyw fodd yn pryderu o herwydd y peth, ac a fwriadodd wneud rhyw gynnygiad mawr. Ac o herwydd bod ei fab yn wystl yr amser hwnnw yn Tyre, efe a aeth i'r ddinas honno, i'w ddwyn ymaith yn ddirgel; ac i fyned rhagddo yn ol hynny i Judea: ac fel yr oedd Cassius mewn brys i fyned yn erbyn Antony, efe a feddyliodd godi'r wlad i wrthryfela, ac felly cael y llywodraeth iddo ei hun: ond rhagluniaeth a wrthwynebodd ei gyngor ef: ac â Herod yn ddyn cyfrwysgall, ac yn deall beth oedd ei amcan, a ddanfonodd ei was yno ym mlaenllaw, mewn ymddangosiad yn wir o geisio swpper yn barod; (canys efe a ddywedasai o'r blaen y gwleddai hwynt oll yno;) ond mewn gwirionedd at flaenoriaid y fyddin, y rhai a berswadiodd i ddyfod allan â'u cleddyfau yn erbyn Malichus. Felly hwy a aethant allan, ac a'u cyfarfuasant gerllaw'r ddinas ar lan y môr, ac a'i brathasant ef. Hyrcanus ydoedd mor frawychus a synn ganddo oblegid hyn, fel y methodd lefaru: ac ar ol dyfod atto ei hun, trwy anhawsdra efe a ofynnodd i Herod beth a allai yr achos fod? a phwy ydoedd y neb a laddodd Malichus? a phan ddywedodd ei wneuthur trwy orchymmyn Cassius, efe a ganmolodd y weithred: oblegid fod Malichus yn ddyn tra annuwiol, ac yn un a fradwriaethodd yn erbyn ei wlad ei hun. A hyn oedd y gosp a ddisgynnodd ar Malichus am y drygioni a wnaeth i Antipater.

Ond wedi myned Cassius allan o Syria, cyfododd terfysgau yn Judea: canys Felix, yr hwn a adawsid yn Jerusalem gyd â byddin, a ymosododd yn fyrbwyll yn erbyn Phasaelus; a'r bobl eu hunain a godasant tan arfau. Ond Herod a aeth at Fabius, llywydd Damascus; ac a ewyllysiodd fyned ar redeg yn gynnorthwywr i'w frawd; ond a rwystrwyd gan glefyd a'i goddiweddodd ef; nes bod Phasaelus ei hun yn rhy drech i Felix, a'i gaead i fynu ganddo yn y tŵr: ac oddiyno, ar ryw ammodau pendant, a'i gollyngodd ymaith. Phasaelus hefyd a achwynodd ar Hyrcanus; mai er cael o hono lawer o lesâd trwyddynt hwy, etto ei fod ef yn cynnorthwyo eu gelynion. Canys brawd Malichus a barasai i lawer o fannau droi yn erbyn y llywodraeth, gan gadw gwersylloedd ynddynt. Yn y cyfamser Herod a welläodd o'i afiechyd; ac a ddaeth i gymmeryd oddiar Felix yr holl fannau a ynnillodd: ac, ar ryw ammodau neillduol, a'i gollyngodd ymaith hefyd.

## PENNOD XII.

*Herod yn bwrw ymaith Antigonus, mab Aristobulus, allan o Judea; ac yn ynnill cyfeillgarwch ag Antony, trwy anfon iddo swm o arian. Antony yn ysgrifennu at y Tyriaid ymherthynas i'r Iuddewon.*

YNA * Ptolemy, mab Menneus, a ddygodd yn ol i Judea, Antigonus mab Aristobulus; yr hwn eisoes a godasai fyddin, a thrwy roddi arian

* Yn y bennod hon, a'r rhai canlynol, gall y darllenydd yn hawdd ddirnad, mor gywir y mae Gronovius yn sylwi, yn ei nodau ar y gorchymmynion Rhufeinaidd ag oedd yn ffafrio 'r Iuddewon, fod eu hawl a'u rhagorfreintiau yn cael eu pwrcasu yn gyffredin ag arian. Llawer o siamplau o'r fath hyn, mewn perthynas i'r Rhufeiniad, ac eraill mewn awdurdod, a gyfarfyddwn yn ein Josephus, yn awr ac ar ol hyn; pa rai ni raid cymmeryd sulw neillduol o honynt, ar amryw achosion yn y nodau hyn. Yn ganlynol y mae 'r pen-cadben yn addef wrth St. Paul, mai "â swm mawr y cafodd efe y ddinas-fraint hon," Act. xxii. 28. Fel ag y darfuasai i henafiaid St. Paul, mae 'n dra thebygol, bwrcasu y cyffelyb ryddid i'w teulu, trwy arian, fel y mae 'r un awdwr hefyd yn penderfynu.

iddo, a ynnillodd gyfeillgarwch Fabius, am ei fod o gareunydd iddo. Marion hefyd a'i cynnorthwyodd ef. Efe a adawsid gan Cassius yn orthrymwr ar Tyre: canys y Cassius yma oedd un a oresgynnodd Syria, ac yna a'i cadwodd tano mewn ffordd o orthrymder. Marion hefyd a aeth rhagddo i Galilea, pa le oedd yn gorwedd yn y gymmydogaeth, ac a gymmerodd dair o'r amddiffynfeydd, gan ddodi gwersyllwyr ynddynt i'w cadw hwynt. Ond pan ddaeth Herod, efe a'u cymmerodd oll oddiwrtho: ond gwersyll y Tyriaid a ollyngodd ymaith mewn ffordd dra moesol: ïe, ac a anrhegodd rai o'r milwyr oddi ar ei ewyllys da ei hun i'r ddinas hono. Wedi iddo ddibennu y matterion hyn, a myned i gyfarfod Antigonus, efe a ymgyssylltodd frwydr ag ef, ac a'i gorchfygodd; gan ei yrru allan o Judea, wedi dyfod o hono i mewn i'w therfynau. Ond pan ddaeth efe i Jerusalem, Hyrcanus a'r bobl a osodasant goron-bleth flodeuog o amgylch ei ben. Canys yr oedd efe eisoes wedi tynnu perthynas â theulu Hyrcanus, trwy ddyweddio un o'i hiliogaeth ef: ac am y rheswm hwnnw y cymmerodd Herod fwy o ofal am dano; megis ei fod i briodi merch Alexander, mab Aristobulus, ac wyres i Hyrcanus: trwy ba wraig y daeth yn dad i dri o blant gwrrywaidd, a dwy o fenywod. Efe a briodasai hefyd wraig arall o îs teulu, ac o'i genedl ei hun, enw yr hon oedd Doris: a'r hon y cafodd ei fab hynaf Antipater.

Yn awr, Antonius a Cæsar a gurasent Cassius yn agos i Philippi, megis y mae eraill yn adrodd. Ond ar ol y fuddugoliaeth, Cæsar a ymadawodd ymaith i fyned i Gaul:† ac Antony a aeth ymaith i Asia. Wedi iddo gyrhaeddyd hyd yn Bithynia, efe a gafodd gennadwyr yn dyfod i'w gyfarfod o bob parth. Y gwŷr pennaf hefyd o Iuddewon a ddaethant yno i gyhuddo Phasaelus a Herod: ac a ddywedasant fod gan Hyrcanus yn wir ymddangosiad o deyrnasu, ond mai'r gwŷr hynny oedd yn meddiannu'r holl awdurdod. Ond Antony oedd â chanddo barch mawr i Herod, yr hwn a ddaethai atto i wneud ei amddiffyn yn erbyn y cyhuddwyr. Ar ba gyfrif ni allai ei wrthwynebwyr gymmaint a chael gwrandawiad. Y ffafr hon a gawsai Herod trwy arian: ond etto pan ddaeth Antony i Ephesus, Hyrcanus yr archoffeiriad, a'n cenedl ni, a ddanfonasant gennadwyr atto, y rhai a ddygasant goron aur gyd â hwynt: gan ddymuned arno ysgrifennu at lywodraethwyr y taleithiau, am ryddhau yr Iuddewon hynny, y rhai a ddygasid ymaith yn gaethion gan Cassius; a hynny heb eu bod yn ymladd i'w erbyn: ac adferyd iddynt y wlad honno, pa un yn nyddiau Cassius a gymmerasid oddiwrthynt. Antony a farnodd ddeisyfiad yr Iuddewon yn gyfiawn: ac yn union-gyrch a 'sgrifennodd at Hyrcanus, ac at yr Iuddewon. Efe hefyd a ddanfonodd yr un pryd orchymmyn at y Tyriaid; cynnwysiad pa un ydoedd i'r un pwrpas.

"Marcus Antonius, gorchymmynwr, at Hyrcanus, yr archoffeiriad, a llywydd yr Iuddewon, yn anfon annerch. Os ydych mewn iechyd, da yw: myfi hefyd wyf iach, gyd â'r fyddin. Lysimachus mab Pausanius, a Josephus mab Menneus; ac Alexander mab Theodorus, eich cennadwyr, a'm cyfarfuant i yn Ephesus: gan adnewyddu y gennadwri a fuasent gynt o'i phlegid yn Rhufain: ac a ymddygasant eu hunain gyd â diwydrwydd ymherthynas i'r gennadwriaeth bresennol; yr hon a ddarfu i ti a'th genedl ymddiried iddynt; ac a ddangosaist yn gyflawn yr ewyllys da sydd gennyt tu ag attom. Fe'm boddlonir gan hynny, trwy eich gweithredoedd a'ch geiriau, eich bod o dueddiad da tu ag attom: ac yr wyf yn deall fod eich ymddygiad mewn bywyd yn gyson ac yn grefyddol. Felly yr wyf yn ei gyfrif gyd â chwi megis nyni ein hunain. Ond wedi i'r rhai oedd elynion i chwi, ac i bobl Rhufain; y rhai ni ymarbedent rhag dinasoedd na themlau; ac ni wnaethant sulw o'r cyttundeb, a gadarnhasant trwy lŵ; yr ydoedd nid yn unig ar gyfrif ein hymrysoniad ni â hwynt, ond ar gyfrif holl ddynolryw yn gyffredin, y gwnaethom ddial ar y rhai oedd awdwyr anghyfiawnder mawr tu ag at ddynion, ac o anfoesoldeb tu ag at y duwiau. Am ba achos yr ydym yn meddwl,

† Am Gaul, y mae'r historiawyr Rhufeinig, a Josephus ei hun yn Hanes y Rhyfeloedd, I. 12, yn erchi i ni ddarllen Itali. Canys yno yr aeth Octavius Cæsar, ar ol iddo ef ac Antony guro Brutus a Cassius yn Philippi. O ba ryw le yr aeth Antony i Asia, fel y cyttuna Josephus â hwynt.

y darfu i'r haul* droi ymaith ei lewyrch oddi wrthym; megis ag anewyllysgarwch ganddo i edrych ar y fath feiau erchyll ag oeddynt yn euog o hono ymherthynas i Cæsar. Nyni hefyd a orchfygasom eu cydfradwriaeth ag oedd yn bygwth y duwiau eu hunain, yr hyn a dderbyniodd Macedonia: megis y mae yn ardal neillduol o gyfleus i ymosodiadau trahaus a drygionus: ac nyni a orchfygasom werinos hanner gwallgofus o falais yn ein herbyn, y rhai a gawsent ynghyd wrth Philippi, yn Macedonia: pan feddiannasant y mannau ag oedd gymmwys i'w pwrpas, ac, megis pe byddent wedi eu murio oddi amgylch â mynyddoedd, hyd at y môr ei hun; a'r lle ag yr oedd tramwyad yn agored yn unig trwy un porth. Y fuddugoliaeth hon a ynnillwyd, o herwydd ddarfod i'r duwiau gondemnio y gwŷr am eu hanturiaethau drygionus. Yn awr, Brutus, wedi ffoi o hono mor bell a Philippi, a gauwyd i fynu gennym ni, ac a gyfrannogodd o'r un dinystr a Cassius. Ac yn awr y rhai hyn a dderbyniasant eu cospedigaeth: ac yr ydym yn meddwl y cawn fwynhau heddwch tros yr amser a ddaw, ac y bydd i Asia gael gorphwys oddiwrth ryfel. Yr ydym gan hynny yn gwneuthur heddwch a roddodd Duw i ni, yn gyffredinol â'n cyngreirwyr hefyd: yn gymmaint ag y mae corph Asia yn awr yn adferyd o'r afiechyd yr ydoedd tano, trwy'r moddion o'n buddugoliaeth. Myfi gan hynny, trwy gadw yn fy nghof tydi a'th genedl, a gymmeraf ofal am yr hyn a fyddo er eich mantais. Myfi hefyd a ddanfonais epistolau yn 'sgrifenedig at yr amrywiol ddinasoedd; fel os oes rhai personau, pa un bynnag fyddont ai rhydd neu gaeth, a werthwyd † tan y cleddyf gan Caius Cassius, neu ei is-swyddogion, y galler eu rhyddhau hwynt. A'm hewyllys yw i chwi yn garedig wneuthur defnydd o'r ffafr yr wyf fi a Dolabella yn ei ganiattau i chwi. Yr wyf hefyd yn gwahardd y Tyriaid i wneuthur dim trais i chwi: canys y lleoedd perthynol i'r Iuddewon y maent hwy'n awr yn eu meddiannu, gorchymmynaf iddynt eu hadferyd i chwi. Darfu im' gyd â'r cwbl dderbyn yn gymmeradwy y goron a ddanfonaist i mi."

"Marcus Antonius, gorchymmynwr, at swyddogion, senedd, a phobl Tyre, yn anfon annerch. Cennadwyr Hyrcanus, archoffeiriad, a llywydd yr Iuddewon, a ymddangosasant o'm blaen yn Ephesus; ac a ddywedasant wrthyf eich bod chwi mewn meddiant o ran o'u gwlad hwynt; yr hon y daethoch i mewn iddo tan lywodraeth ein gelynion. Yn gymmaint a'n bod ni gan hynny wedi cymmeryd arnom ryfel i feddiannu y llywodraeth; a gofalu o honom am wneuthur yr hyn oedd gyttun â duwioldeb a chyfiawnder: ac a ddygasom i gospedigaeth y rhai nad oedd ganddynt goffadwriaeth o'r cymmwynasau a gawsent, ac na chadwasant eu llwon. Ewyllysiaf eich bod yn heddychlon â'r rhai ydynt ein cyngreirwyr: megis hefyd am yr hyn a gymmerasoch trwy'r moddion o'n gelynion na chyfrifer yr eiddo eich hunain, ond ei ddychwelyd yn ol i'r rhai y cymmerwyd oddiarnynt. Canys ni chymmerodd neb o honynt eu hardaloedd neu fyddinoedd trwy ganiattad y senedd; ond a'u cymmerasant trwy drais, ac a'i rhoddasant i'r sawl a fyddai o ddefnydd iddynt yn eu gweithrediadau anghyfiawn. Gan ddarfod o herwydd hyn i'r dynion hynny dderbyn y gospedigaeth ddyledus iddynt, yr ydym yn ewyllysio i'n cyngreirwyr gadw pa beth bynnag yr oeddynt o'r blaen yn ei feddiannu heb ddim aflonyddwch: ac ar fod i chwi adferyd yr holl leoedd a berthynent i Hyrcanus, llywydd yr Iuddewon, y rhai a gawsech chwi, er na buasai ond un diwrnod cyn i Caius Cassius ddechreu rhyfel anghyfiawn yn ein herbyn; gan wneuthur dyfodfa i mewn i'n talaith. Ac na wneler un gwrthwynebiad gennych i'w erbyn, mewn trefn i'w wahanu ef, fel na's gallo ddefnyddio yr hyn sydd eiddo ei hun. Ond os bydd gennych un ddadl i'w erbyn ynghylch eich gwahanol hawl, bydd yn gyfreithlon i chwi ddadleu eich cwyn pan ddelom i leoedd perthynol i hynny. Canys nyni yn gyffelyb a amddiffynnwn hawl, ac a wrandawn achosion ein cyngreirwyr.

"Marcus Antonius, gorchymmynwr, at swydd-

* Yr ymadrodd hwn sy'n amlwg arwyddo y peth tra adnabyddus, ond anarferol hir dywyllni yr haul, a ddigwyddodd ar lofruddiad Julius Cæsar, gan Brutus a Cassius: yr hyn y cymmerir sulw mawr o hono gan Virgil, Pliny, ac awdwyr Rhufeinaidd eraill. Gwel Virgil's Georgics I. ychydig cyn y diwedd. A Hanesion Naturiaethau Pliny II. 30.

† Yn gyhoeddus.

ogion, senedd, a phobl Tyre, yn anfon annerch. Danfonais i chwi fy ngorchymmyn; yr hwn yr wyf yn ewyllysio ar i chwi ei argraphu ar dablau cyhoeddus, mewn llythyrennau Rhufeinaidd a Groegaidd: a bod iddo sefyll i fynu yn argraphedig yn y lleoedd mwyaf amlwg, fel ag y darllenner gan bawb. Marcus Antonius, gorchymmynydd, un o'r triwyr yn golygu'r achos cyffredin, a wnaeth y cyhoeddiad hwn. Yn gymmaint ag i Caius Cassius, yn y gwrthryfel a wnaeth, yspeilio y dalaith honno nad oedd berthynol iddo ei hun, ac a gedwid gan wersyll oedd yno yn sefydlog, tra'r oeddynt i ni yn gyngreirwyr; a darfod iddo anrheithio cenedl yr Iuddewon ag oedd yn gyfeillgar â phobl Rhufain, megis yn amser rhyfel: a chan ddarfod i ni orchfygu ei gynddeiriogrwydd trwy arfau; yr ydym yn awr am ddiwygio, trwy ein gorchymmyn a'n cyhoeddiadau cyfreithlon, y mannau a ddifrododd efe; fel y byddo i'r rhai hynny gael eu hadferyd i'n cyngreirwyr. Ac ymherthynas i'r hyn a werthwyd o feddiannau yr Iuddewon, pa un bynnag fyddont ai cyrph neu feddiannau, bydded iddynt gael eu rhyddhau: y dynion i'r 'stad honno o ryddid yr oeddynt ynddi yn ddechreuol; a'r meddiannau i'w perchennogion cyntaf. Ewyllysio hefyd yr wyf am i'r neb na chydsynio â'm gorchymmyn hwn, gael ei gospi am ei anufudddod. Ac os delir y cyfryw un, cymmeraf ofal am i'r troseddwr gael dioddef dyledus gospedigaeth."

Y cyffelyb a ysgrifennodd Antony at y Sidoniaid, yr Antiochiaid, a'r Aradianiaid. Dygasom allan gan hynny y gorchymmynion hyn, fel tystion i'r amser a ddaw o wirionedd yr hyn a ddywedasom, fod gan y Rhufeiniaid ofal mawr am ein cenedl ni.

## PENNOD XIII.

*Herod a Phasaelus yn cael eu gwneud yn Detrarchiaid, wedi eu cyhuddo i ddim diben: y Parthiaid yn dyfod ag Antigonus i mewn i Judea, ac yn cymmeryd Hyrcanus a Phasaelus yn gaethion: Herod yn achub ei hun trwy ffoedigaeth.*

PAN ddaeth Antony i mewn i Syria,* efe a syrthiodd mewn cariad â'r frenhines Cleopatra, yr hon a'i cyfarfyddodd ef yn Cilicia. Daeth hefyd yn awr gant o bennaethiaid yr Iuddewon i achwyn ar Herod, a'r rhai o'i amgylch ef; gan osod y gwŷr mwyaf ymadroddus yn eu mysg i lefaru: ond Messala a'u gwrthwynebodd ar du y gwŷr ieuaingc, a hynny o flaen Hyrcanus yr hwn oedd dad-ynghyfraith † Herod eisoes. Wedi i Antony roi gwrandawiad i bob ochr, yn Daphne, efe a ofynnodd i Hyrcanus pwy ydoedd y rhai oedd yn barnu'r genedl yn oreu? Efe a attebodd, mai Herod a'i gymdeithion. Ar hyn Antony, o herwydd yr hen gyfeillach a fuasai rhyngddo â'i dad Antipater, pan oedd gyd â Gabinius, a wnaeth Herod a Phasaelus yn detrarchiaid; gan orchymmyn achosion cyhoeddus yr Iuddewon iddynt hwy; ac a ysgrifennodd lythyrau i'r pwrpas hwnnw. Efe hefyd a ddaliodd bymtheg o'u gwrthwynebwyr; ac a fynnasai eu rhoddi i farwolaeth, ond fel y darfu i Herod gael maddeuant iddynt.

Etto ni fedrodd y gwŷr hyn fod yn llonydd pan ddychwelasant yn ol; ond mil o'r Iuddewon a ddaeth i Tyre i'w gyfarfod ef yno, lle y soniwyd ei fod i ddyfod. Ond Antony a lygrasid â'r arian a roisai Herod a'i frawd iddo: ac felly fe orchymmynodd i lywiawdwr y lle gospi y cennadwyr Iuddewig, y rhai oedd am osod i fynu drefn newydd; ac i sefydlu y llywodraeth ar Herod. Ond Herod a aeth allan ar frys, a Hyrcanus gyd ag ef; (canys hwy a safent ar lan y môr o flaen y ddinas;) ac efe a archodd iddynt fyned i'w ffordd, o herwydd y byddai i ddrwg mawr eu gorddiwes os aent ym mlaen â'u hachwyniadau: ond fel na chydsyniasant, y Rhufeiniaid a redasant ar eu gwarthaf â'u cleddyfau, gan ladd rhai a chlwyfo ychwaneg o honynt: a'r lleill a ffoisant ymaith i'w cartref, gan aros mewn dychryn mawr: ac a'r bobl yn llefain

* Bl. 41.

† Gallwn sylwi yma fod dyweddiadau yn unig gynt yn sail ddigonol o berthynas. Hyrcanus a elwir yma yn dad-ynghyfraith Herod, o herwydd fod ei ŵyres Mariamne wedi ei dyweddio iddo ef; er na chwblhawyd y briodas bedair blynedd yn ol hynny. Y modd y mae Virgil yn galw Chorebus yn fab-ynghyfraith Priamus, cyn yn weithredol iddo briodi ei ferch. Æneid. II. v. 344. Gwelwch y nodau yma; gwelwch hefyd Matth. 1. 16, gyd â nôd Grotius ar y lle hwnnw.

yn erbyn Herod, Antony a gythruddwyd gymmaint fel ag y lladdodd y carcharion.

Yn awr, yn yr * ail flwyddyn, Pacorus mab brenin Parthia, a Barzapharnes blaenor byddin y Parthiaid, a berchennogasant Syria. Ptolemy, mab Menneus hefyd ydoedd yn awr wedi marw; a Lysanias ei fab a gymmerasai 'r llywodraeth, ac a wnaeth gyngrair o gyfeillgarwch ag Antigonus, mab Aristobulus; ac mewn trefn i'w meddiannu efe a wnaeth ddefnydd o'r cadflaenor hwnnw, yr hwn oedd ganddo hyder mawr ynddo. Yn awr Antigonus a addawsai roddi i'r Parthiad fil o dalentau, a phum cant o ferched, ar ammodau o gymmeryd o honynt y llywodraeth oddiwrth Hyrcanus, a'i rhoddi iddo ef; a chyd â'r cwbl lladd Herod. Ac er na roddodd yr hyn a addawodd iddynt, etto y Parthiaid a wnaethant ymgyrch i Judea ar y cyfrif hwnnw, gan ddwyn Antigonus gyd â hwynt. Pacorus a aeth ym mlaen ar hyd y parthau morawl, ond y cadflaenor Barzapharnes trwy ganol y wlad. Yn awr y Tyriaid a ganasant allan Pacorus: ond y Sidoniaid, a'r rhai hynny o Ptolemais, a'i derbyniasant ef. Pa fodd bynnag, Pacorus a ddanfonodd lu o wŷr meirch i Judea i gymmeryd golwg ar sefyllfa'r wlad, ac i gynnorthwyo Antigonus: ac efe a ddanfonodd bentrulliad y brenin, o'r un enw ag ef ei hun. Felly wedi i'r Iuddewon oedd yn aros o amgylch mynydd Carmel ddyfod at Antigonus, ac yn barod i fyned gyd ag ef i Judea, Antigonus a obeithiodd am ynnill rhyw ran o'r wlad trwy eu cymmorth hwynt. Y lle a elwir Drymi: a phan ddaeth rhai eraill i'w cyfarfod hwynt, y gwŷr a syrthiasant yn ddirgel ar Jerusalem. Ac wedi dyfod rhai yn 'chwaneg attynt, hwy a ymgasglasant yn lliaws mawr ynghyd; ac a amgylchynasant dŷ 'r brenin, gan warchae arno. Ond fel ag y daeth plaid Herod a Phasaelus ym mlaen i'w hamddiffyn hwynt; ac i ymladdfa rhyngddynt ddilyn yn y farchnadfa; y gwŷr ieuaingc a gurasant eu gelynion, ac a'u herlidiasant i'r deml; ac a ddanfonasant rai gwŷr arfog i'r tai cyssylltedig â hi i'w cadw i mewn; y rhai a hwy mewn diffyg o'r cyfryw ag a'u cynnorthwyai, a losgwyd, a'r tai hefyd gyd â hwynt, gan y bobl a gyfodasant i'w herbyn. Ond Herod a ymddialodd ar y terfysgwyr gelyniaethol hyn ychydig yn ol hynny, pan ymladdodd â hwynt, ac y difethodd lawer o honynt.

Ond tra 'r ydoedd beunydd ymladdfeydd bychain, y gelynion a wyliasant am ddyfodiad y lliaws o'r wlad i ŵyl y Pentecost. Ac wedi dyfod y dydd hwnnw, amryw filoedd o'r bobl a ymgasglasent ynghylch y deml; rhai dan arfau, a'r lleill hebddynt. Yn awr, y rhai a ddaethant a wyliasant y deml a'r ddinas; oddieithr yr hyn a berthynai i'r palas, yr hwn yr oedd Herod ag ychydig filwyr yn ei wylio. A Phasaelus oedd â chanddo ofal y muriau: pan wnaeth Herod, gyd â chorph o'i wŷr, ruthr ar y gelynion, pa rai oedd yn gorwedd yn y maesdrefi, ac a ymladdasant yn wrol, gan ddodi amryw filoedd i ffoi: rhai yn ffoi i'r ddinas, eraill i'r deml; a rhai i'r amddiffynfeydd oddi allan; canys y cyfryw amddiffynfeydd ydoedd yn y lle hwnnw. Phasaelus a ddaeth hefyd yn gynnorthwy iddo. Etto fe gafodd Pacorus, cadflaenor y Parthiaid, ar ddeisyfiad Antigonus, ddyfod i mewn i'r ddinas gyd ag ychydig o wŷr meirch; tan ymddangosiad yn wir o gymmeryd arno lonyddu'r terfysg; ond mewn gwirionedd, i gynnorthwyo Antigonus i feddiannu 'r llywodraeth. Ac wedi i Phasaelus ei gyfarfod, a'i dderbyn mewn dull boneddigaidd; Pacorus a'i perswadiodd i fyned ei hun fel cennadwr at Barzapharnes: yr hyn a wnaeth i'w dwyllo ef. Yn ganlynol, Phasaelus heb ddychymmygu dim niweid, a gydsyniodd â'i gymmelliad, tra'r oedd Herod heb gyttuno â'r hyn a wnaethid, o herwydd bradwriaeth y Barbariaid hyn; ond a ddymunodd ar Phasaelus yn hytrach ymladd â'r rhai hynny a ddaethent i mewn i'r ddinas.

Felly Hyrcanus a Phasaelus a aethant bob un ar y gennadwriaeth. Ond Pacorus a adawodd gyd â Herod ddau cant o wŷr meirch, a deg o ddynion, y rhai a elwid y gwŷr rhyddion; ac a arweiniodd y lleill ar eu taith. A phan oeddynt yn Galilea, llywodraethwyr y dinasoedd yno a'u cyfarfyddent tan arfau. Barzapharnes hefyd a'u derbyniodd ar y cyntaf gyd

* Tebygol mai am ddyfodiad Antony i Asia.

â sirioldeb, ac a wnaeth anrhegion iddynt; er iddo yn ol hynny fradwrio yn eu herbyn; a Phasaelus a'i wŷr meirch a ddygwyd at lan y môr. Ond pan glywsant ddarfod i Antigonus wneuthur addewid o roddi i'r Parthiaid fil o dalentau, a phum cant o ferched, am ei gynnorthwyo yn eu herbyn, darfu iddynt yn fuan, ddrwg-dybio 'r Barbariaid. Ymhellach, yr oedd yno un arall a hyspysodd iddynt, fod maglau i gael eu gosod iddynt yn y nos, pan ddeuai gwarchawdlu yn ddirgel o'u hamgylch; a hwythau ar hynny a oddiweddasid, pe na buasent mewn disgwyliad am gymmeryd Herod gan y Parthiaid ag ydoedd o amgylch Jerusalem, rhag ar lofruddiad Hyrcanus a Phasaelus, iddo ef glywed am dano, a diangc o'u dwylaw. A thyma 'r amgylchiad yr oeddynt yn awr ynddo; ac a wybuant pwy ydoedd y rhai oedd yn eu gwylio. Rhai ag oedd yn bresennol yn wir a fynnent berswadio Phasaelus i ffoi yn uniongyrch ymaith ar farch, a pheidio ag aros yn hwy. Ac yr oedd un Ophellius, yr hwn uwchlaw eraill a'i taer-gymhellodd i wneuthur hynny. Canys efe a glywsai am y fradwriaeth hon oddiwrth Saramalla, y cyfoethoccaf o'r holl Syriaid yr amser hwnnw: yr hwn hefyd a addawodd barottoi llongau i'w ddwyn ef ymaith: canys y môr ydoedd gerllaw iddynt. Ond nid oedd ganddo ef ddim ewyllys i adael Hyrcanus, na dwyn ei frawd i berygl. Ond efe a aeth at Barzapharnes, ac a ddywedodd wrtho nad oedd yn gwneuthur yn gyfiawn pan luniodd y fath ddyfais. Oblegid os ydoedd mewn diffyg o arian, y rhoddai efe fwy iddo nag Antigonus. Ac heblaw hynny, ei fod yn beth echryslon iddo eu lladd hwynt, y rhai a ddaethent ar y sicrwydd o'u llwon, a hynny pan na wnaethent iddynt ddim niweid. Ond y Barbariaid a dyngasant wrtho, nad oedd dim gwirionedd oll yn ei ddrwg-dybiau, ac na flinid ef gan ddim ond gauddychymmygion; ac yna efe a aeth ymaith at Pacorus.

Ond cyn gynted ag yr aeth ymaith, rhyw ddynion a ddaethant ac a rwymasant Hyrcanus a Phasaelus, pan waradwyddodd Phasaelus yn fawr y Parthiaid am eu twyll a'u bradwriaeth. Pa fodd bynnag, y trulliad a ddanfonwyd yn erbyn Herod, a gawsai orchymmyn i'w ddenu y tu allan i furiau 'r ddinas, ac yna ei gymmeryd ef. Ond negeseuwyr a ddanfonasid gan Phasaelus i hyspysu Herod o dwyll y Parthiaid. A phan wybu ddarfod i'r gelyn eu cymmeryd hwynt, efe a aeth at Pacorus, a'r rhai pennaf o'r Parthiaid, megis at arglwyddi y lleill. Ac er eu bod yn gwybod yr hyn oll a fuasai, hwy a ddadleuasant ag ef mewn ffordd dwyllodrus: gan ddywedyd y dylai fyned allan gyd â hwynt o flaen y muriau, i gyfarfod y rhai oedd yn dwyn iddo ei lythyrau: ac na chymmerasid mo honynt hwy gan eu gelynion; ond eu bod yn dyfod i roddi cyfrif iddo am y llwyddiant a gawsai Phasaelus. Ni roddodd Herod ddim crediniaeth i'r hyn a ddywedasant, canys efe a glywsai ddarfod ymosod ar ei frawd gan eraill hefyd. A *merch Hyrcanus hefyd, yr hon a ddyweddiasai, a'i cynghorodd i beidio a'u coelio hwynt, yr hyn a'i gwnaeth fyth yn fwy drwg-dybus o'r Parthiaid. Ac er nad oedd eraill yn gwrando ar yr hyn a ddywedai, etto yr oedd efe yn ei chredu fel dynes o fawr gallineb.

Yn awr, tra'r oedd y Parthiaid yn ymgynghori pa beth oedd gymmwys i'w wneuthur, (canys nid oeddynt yn ei dybied yn ddoethineb i wneud ymosodiad cyhoeddus ar ddyn o'i gymmwysiadau ef;) ac â hwy wedi gadael heibio y penderfyniad hyd y dydd nesaf, Herod ydoedd tan fawr aflonyddwch meddwl; ac yn hytrach yn credu yr hanesion a glywsid ynghylch ei frawd a'r Parthiaid, nac yn rhoddi cred i'r hyn a ddywedid gan yr ochr arall; efe a benderfynodd pan ddeuai'r hwyr i wneud defnydd o hono i'w ffoedigaeth, a pheidio oedi ymhellach, megis pe byddai'r perygl oddiwrth y gelynion heb fod etto yn sicr. Am hyn efe a symmudodd gyd â'r gwŷr arfog oedd yn ei ganlyn; gan osod ei wragedd ar yr anifeiliaid, megis hefyd ei fam, a'i chwaer, a'r hon ydoedd ynghylch ei phriodi, Mariamne, merch Alexander, fab Aristobulus; gyd â'i mam, merch Hyrcanus, a'i frawd ieuangaf; a'i holl weinidogion, a'r gweddill o'r lliaws oedd gyd ag ef: ac heb yn

* Alexandra.

wybod i'w elynion a aeth rhagddo yn ei ffordd tu ag Idumea. Ac ni allai un gelyn a'i gwelodd yn y cyflwr hwn fod mor galon-galed na thosturiai wrth ei amgylchiad; tra 'r oedd y gwragedd yn llusgo ym mlaen eu plant bychain, ac yn gadael eu gwlad eu hunain, a'u cyfeillion mewn carcharau; gyd â dagrau ar eu gruddiau, yn wylofain, ac heb ddisgwyl dim ond yr hyn oedd gyflawn o dristwch.

Herod, pa fodd bynnag, a dderchafodd ei feddwl uwchlaw y cyflwr anghyssurus yr oedd yn awr ynddo, ac a ydoedd o gefnogrwydd mawr ynghanol ei aflwyddiant: ac, fel yr oedd yn myned ym mlaen, a'u hannogodd bob un o honynt i fod yn siriol, a pheidio rhoddi eu hunain i fynu i dristwch; oblegid y byddai hynny yn rhwystr iddynt yn eu ffoedigaeth, yr hyn yn awr ydoedd yr unig foddion o'u diogelwch. Yn ganlynol hwy a ymdrechasant i ddwyn yn amyneddgar y trallod yr oeddynt tano, fel y cynghorodd hwynt i wneuthur. Etto bu efe yn agos unwaith a myned i'w ladd ei hun, ar ddadymchweliad y fenn neu gertwyn; o herwydd y perygl yr ydoedd ei fam wrth hynny ynddo o gael ei lladd: a hyn ar ddau gyfrif; o herwydd ei ofal mawr trosti hi; ac o herwydd ei fod yn ofni trwy y rhwystr hwn, y byddai i'r gelynion ei oddiweddyd yn ei erledigaeth. Ond fel yr oedd yn tynnu allan ei gleddyf, ac yn myned i'w ladd ei hun, y rhai ag oedd yn bresennol a'i hattaliasant ef; gan ddywedyd wrtho, na ddylai ymwrthod â hwynt, a'u gadael yn ysglyfaeth i'w gelynion; canys nid rhan dyn gwrol ydoedd i ryddhau ei hun o'r blinderau yr oedd yn awr ynddynt, ac i edrych heibio ei gyfeillion oedd yn yr un blinder: felly efe a gymmellwyd i adael yr amcan echryslon hwnnw o'r neilldu; mewn rhan oblegid y cywilydd a ddaeth arno wrth eu clywed hwynt; ac mewn rhan oddiar barch i'r lliaws mawr o'r rhai oedd gyd ag ef, a'r na adawent iddo wneuthur yr hyn a fwriadodd. Felly efe a gefnogodd ei fam, ac a gymmerodd gyd â hi gymmaint o ofal ag a ganiattäi yr amser; ac a aeth ym mlaen gyd â'r brys mwyaf i amddiffynfa Massada. Ac er cael o hono amryw o ymladdfeydd bychain; a chynnifer o'r Parthiaid a ymosodasant ac a'u herlidiasant ef, bu yn orchfygwr arnynt oll.

Ac yn wir nid oedd efe rydd oddiwrth yr Iuddewon o hyd, tra fu ar ei ffoedigaeth: canys y pryd ag yr oedd wedi myned drugain o 'stadau oddiwrth y ddinas, ac ar y brif-ffordd; hwy a syrthiasant arno, ac a ymladdasant law-law ag ef: ond efe a'u dododd i ffoi, ac a'u gorchfygodd; nid fel un oedd mewn cyfyngder ac angen, ond megis un wedi ymddarparu yn rhagorol i ryfel. Ac yn y man hynny lle y gorchfygodd yr Iuddewon, ryw bryd rhag llaw efe a adeiladodd balas rhagorol, a dinas o'i amgylch, yr hon a alwodd Herodium. A phan ddaeth efe i Idumea, ac i le a elwid Thressa, ei frawd Joseph a'i cyfarfu: ac yna efe a alwodd gyngor ynghyd i gael cyfarwyddyd ynghylch ei achosion, a pha beth oedd gymmwys iddo wneuthur yn ei amgylchiad presennol, gan fod ganddo liaws mawr yn ei ganlyn, heblaw ei gyflog-filwyr; a'r lle, sef Massada, i'r hwn yr oedd yn meddwl cilio, ydoedd yn rhy fychan i gynnwys lliaws mor fawr. Felly efe a ddanfonodd ymaith y rhan fwyaf o'i gymdeithion, ag ydoedd uwchlaw naw mil, gan erchi iddynt fyned, rai un ffordd, ac eraill ffordd arall; ac felly achub eu hunain yn Idumea: ac efe a roddodd iddynt yr hyn a bwrcasai gynnaliaeth yn eu taith: ond efe a gymmerodd gyd ag ef y rhai oedd fwyaf dirwystr, a mwyaf adnabyddus iddo, ac a ddaeth i'r amddiffynfa: ac efe a adawodd yno ei wragedd, a'i ddilynwyr, y rhai oeddynt ynghylch wyth gant o nifer; gan fod yn y lle ŷd yn ddigonol, ynghyd â dwfr, ac angenrheidiau eraill: ac efe a ymadawodd i fyned ymaith yn union-gyrch i Petra, yn Arabia. Ond pan ydoedd yn ddydd, y Parthiaid a yspeiliasant holl Jerusalem, a'r palas, sef tŷ'r brenin; ac ni arbedasant ond trysorau Hyrcanus, y rhai oeddynt dri chant o dalentau. Mesur mawr o eiddo Herod a ddiangasai; ac yn bennaf yr hyn ag oedd mor ofalus a'u danfon i Idumea ym mlaenllaw. Ac yn wir ni ddarfu yr hyn oedd yn y ddinas ddigoni'r Parthiaid, ond hwy a aethant allan i'r wlad, ac a'i hanrheithiasant hi, ac a ddadymchwelasant y ddinas Marissa.

Fel hyn y dygpwyd Antigonus yn ol i Judea trwy frenin y Parthiaid; ac y derbyniodd Hyrcanus a Phasaelus yn garcharorion iddo. Ond yr oedd wedi ei ofidio yn fawr oblegid y merched a ddiangasent, y rhai a fwriadasai efe eu rhoddi i'r gelyn, gan ddarfod eu haddaw gyd â'r arian yn wobr iddynt. Ond ag efe yn ofni rhag i Hyrcanus, yr hwn ydoedd tan warchawdlu o'r Parthiaid, gael ei deyrnas wedi ei hadferyd iddo drachefn gan y lliaws, efe a dorrodd ymaith ei glustiau, a thrwy hynny a ofalodd na ddelai'r archoffeiriadaeth fyth iddo ef drachefn, o herwydd fod anaf arno: pan ydoedd y * gyfraith yn gofyn na fyddai i'r uchelfraint hon berthynu i neb ond rhai o gorpholaeth perffaith. Ond ni allai yn awr neb amgen na rhyfeddu wrth wroider Phasaelus; yr hwn ag efe yn canfod ei fod i gael ei roddi i farwolaeth, ni edrychodd ar hynny oll fel peth dychrynllyd; ond i farw y modd hwn trwy ddwylaw ei elyn, yr ydoedd yn ei olygu o fawr resyndod a dianrhydedd: ac am hynny gan nad oedd ganddo ei ddwylaw yn rhyddion, ond bod y rhwymau oedd am dano yn ei luddias i ladd ei hun â hwynt; efe a gurodd ei ben yn erbyn maen mawr oedd yn ei ymyl, ac wrth hynny a gymmerodd ymaith ei fywyd ei hun: yr hyn a feddyliodd oedd y peth goreu a allai wneuthur yn y fath gyfyngder ag yr oedd efe yn awr tano. Fe ddywedir hefyd, yn ol iddo wneuthur archoll mawr ar ei ben, i Antigonus anfon meddygon atto, mewn trefn i'w wella ef; a thrwy eu gorchymmyn i fwrw gwenwyn i'r briw, hwy a'i lladdasant ef. Pa fodd bynnag, Phasaelus yn clywed, cyn iddo orphen marw, gan ryw wraig oedd gerllaw, fod ei frawd Herod wedi diangc oddiar y gelyn, a ymadawodd yn fwy cyssurus, gan ei fod yn awr yn gadael o'i ol un a ddialai ei farwolaeth; a'r hwn oedd a gallu i wneuthur cospedigaeth ar ei elynion.

## PENNOD XIV.

*Am angharedigrwydd brenin Arabia; ac am lwyddiant cennadwr Herod at senedd y Rhufeiniaid; gan y rhai y gwnaethpwyd ef yn frenin yr Iuddewon.*

Y TRALLODION mawrion a gyfarfu Herod â hwynt ni wanhasant ei feddwl, ond a'i gwthiasant yn mlaen at ymdrechiadau newyddion a hynod. Canys efe a aeth at Malchus, brenin Arabia, yr hwn a fuasai gynt yn dra ffyddlon iddo; mewn trefn i dderbyn rhyw beth megis taledigaeth ganddo, pan ydoedd yn awr mewn angen mwy na chyffredin o hono. Yn ganlynol efe a ddymunodd gael peth arian ganddo; un ai mewn ffordd o fenthyg, neu megis rhad rodd, ar gyfrif y gwasanaeth a wnaethai gynt iddo. Canys ag efe heb wybod beth a ddaethai o'i frawd, yr ydoedd mewn brys o herwydd ei amcan i'w adbrynu o ddwylaw ei elynion; megis yn ewyllysgar i roddi tri chant o dalentau fel gwerth ei adbryniad ef. Efe hefyd a gymmerodd gyd ag ef fab Phasaelus, yr hwn oedd blentyn o saith mlwydd o oedran; fel y gadawai ef yn wystl am daledigaeth yr arian yn ol. Ond fe ddaeth negesenwyr oddiwrth Malchus i'w gyfarfod ef, trwy y rhai y dymunwyd iddo fyned ymaith; oblegid fod y Parthiaid wedi ei orchymmyn ef i beidio gwneuthur derbyniad o Herod. Hyn pa fodd bynnag nid ydoedd ond esgus, o'r hwn y gwnaeth ddefnydd fel na byddai rwymedig i ad-dalu yr hyn oedd ddyledus arno iddo. Ac i hyn yr annogwyd ef ymhellach, gan y gwŷr pennaf ym mysg yr Arabiaid, fel y twyllent ef am y symiau a dderbyniasent oddiwrth ei dad Antipater; a'r rhai a roddasai i'w cadwraeth hwynt. Efe a wnaeth attebiad, nad oedd yn bwriadu bod yn flinder iddynt trwy ei ddyfodiad yno; ond ei fod yn unig yn chwennych ymddiddan â hwynt am achosion cyhoeddus ag oedd iddo ef o'r canlyniad mwyaf.

Ar hyn efe a ymroddodd i fyned ymaith; ac yn ganlynol a gyfeiriodd ei ffordd tu â'r Aipht. Ac yna y bu ddarfod iddo lettya mewn rhyw deml: canys efe a adawsai lawer o'i ganlynwyr yno. Ar y dydd nesaf efe a ddaeth i Rhinoco-

* Y gyfraith o eiddo Moses, ag oedd yn gorchymmyn i'r offeiriaid fod yn ddianaf, mewn perthynas i holl rannau eu cyrph, sydd yn Lef. xxi. 17---24. A Spanheim, ar gyffelyb le yn Hanes y Rhyfel, I. 13. 9, a sylwia, fod yr un gyfraith wedi meddiannu Athen hefyd.

lura; ac yno y clybu am yr hyn a ddigwyddasai i'w frawd. Er i Malchus yn fuan edifarhau am yr hyn a wnaethai, a dyfod tan redeg ar ol Herod; ond nid ydoedd i unrhyw ddiben. Canys yr oedd wedi myned bellder o ffordd, gan frysio i Pelusium. Ac wedi i'r llongau sefydlog oedd yno fod yn rhwystr iddo i fordwyo tu ag Alexandria, efe a aeth at eu cadben; trwy gynnorthwy pa un, a hynny o barch iddo, efe a ddygwyd i Alexandria, ac a dderbyniwyd yno gan Cleopatra. Etto ni allodd hi ei berswadio i aros yno, o herwydd ei fod yn prysuro i fyned i Rufain; er bod yr hin neu 'r tywydd yn dymhestlog; ac efe a hyspysasid fod achosion Itali mewn cyflwr terfysglyd ac annrhefnus.

Felly efe a fordwyodd i Pamphylia; a chan syrthio mewn tymmestl ddirfawr, efe a gafodd anhawsdra nid ychydig i ddiangc i Rhodes, gyd â cholled o lwyth y llong. Ac yno y bu ddarfod i ddau o'i gyfeillion, Sappinas a Ptolemeus gyfarfod ag ef. Ac fel y cafodd y ddinas honno wedi ei niweidio yn fawr yn y rhyfel yn erbyn Cassius, er ei fod mewn angen ei hun, ni esgeulusodd ddangos caredigrwydd i'r trigolion; ac a wnaeth yr hyn a allai er ei hadferyd i'w chyflwr o'r blaen. Efe hefyd a adeiladodd yno long tribyrddiad; ac a fordwyodd ymaith gyd â'i gyfeillion i Itali, gan ddyfod i borthladd Brundusium. Ac wedi ei ddyfod oddi yno i Rufain, efe yn gyntaf a adroddodd i Antony yr hyn a ddaethai arno yn Judea: a darfod goddiweddyd Phasaelus ei frawd gan y Parthiaid, a'i roddi i farwolaeth: fod Hyrcanus yn cael ei gadw tan gaethiwed ganddynt; a gwneuthur o honynt Antigonus yn frenin; yr hwn a addawsai iddynt fil o dalentau, a phum cant o fenywod; y rhai oeddynt i fod o'r teuluoedd pennaf, ac o'r hiliogaeth Iuddewig. A darfod iddo ef, gyd â'i deulu, ffoi ymaith yn y nos; a thrwy lawer o gyfyngderau a pheryglon, ddiangc o hono rhag dwylaw ei elynion. Ac hefyd fod ei berthynasau ei hun mewn perygl o warchae arnynt a'u cymmeryd; a darfod iddo fordwyo trwy dymmestl, a dibrisio'r holl beryglon mewn trefn i ddyfod mor gynted ag oedd bossibl atto ef, yr hwn oedd ei obaith, a'i unig swccwr y pryd presennol.

Yr hanes yma a barodd i Antony dosturio wrth * y cyfnewidiad a ddigwyddasai yn amgylchiad Herod. A chan ymresymmu ynddo ei hun, fod hyn yn digwydd yn gyffredin i rai mewn cyffelyb sefyllfaoedd uchel; a'u bod hwy yn ddarostyngedig i gyfnewidiadau ag sy'n dyfod oddiwrth ffortun neu ragluniaeth; yr oedd yn dra pharod i roddi iddo y cynnorthwy a geisiai: a hyn oblegid ei fod yn cofio y gyfeillach oedd rhyngddo ag Antipater: canys Herod a gynnygiodd arian iddo am ei wneud yn frenin, megis y rhoddasai o'r blaen am ei wneud yn detrarch; † ac yn bennaf o herwydd ei gasineb i Antigonus: canys yr oedd yn ei gymmeryd ef fel dyn ymrysongar, ac yn elyn i'r Rhufeiniaid. Cæsar hefyd oedd barottach i dderchafu Herod i fawredd, ac i'w gynnorthwyo yn ei ymgais, ar gyfrif ei lafur yn y rhyfel a fuasai efe ei hun ynddo gyd ag Antipater ei dad yn yr Aipht; ac am ei haelioni a'i ffyddlondeb a ddangosasai tu ag atto: ac hefyd i foddio Antony, yr hwn oedd fawr ei sêl tros Herod. Felly senedd a alwyd ynghyd; a Messala yn gyntaf, ac yna Aratinus a ddygasant Herod i mewn iddi: a hwy a ymhelaethasant ar y gwasanaeth a wnaethai ei dad iddynt; ac a goffasant yr ewyllys da a ddangosasai tu ag at y Rhufeiniaid. Ar yr un pryd hwy a gyhuddasant Antigonus, ac a'i cyhoeddasant ef yn elyn: nid yn unig o herwydd ei wrthwynebiad gynt iddynt; ond ei fod yn awr yn edrych heibio i'r Rhufeiniaid, ac yn cymmeryd y llywodraeth trwy'r Parthiaid. Ar

* Ymherthynas i amseryddiaeth Herod, a'r pryd y gwnaethpwyd ef gyntaf yn frenin yn Rhufain; ac ymherthynas i'r amser y dechreuodd ei ail deyrnasiad, heb gydymgeisydd, ar orchfygiad neu laddiad Antigonus; yr hyn a geir yn bennaf oddiwrth y ddwy bennod ganlynol yn Josephus; gwel Gyssondeb yr Efangylwyr, t. d. 150---155, a'r nod ar pen. 15 Y mae, pa fodd bynnag, yn beth tra dieithr, ddarfod, ar y fath ffrwst ag yr oedd Herod yn awr ynddo, i Josephus arfer y fath eiriau, a hynny yma, ac yn Hanes y Rhyf. I. 14, ag sydd agos yn arwyddo iddo adeiladu llong helaeth yn Rhodes, ar ei daith i Itali; i'r hyn y mae 'n sicr nad oedd ganddo yn awr ddim amser oll. Spanheim a ddywed ar y lle yn awr a grybwyllwyd yn Hanes y Rhyfeloedd, na wnaeth ond yn unig cyflogi llong yn awr yn Rhodes; a hynny fel sicrhad Josephus hefyd; yr hyn, er nad yw oll yn annhebyg ynddo ei hun, ond yn hytrach yn dra thebygol, etto sydd heb sail iddo yn y copiau. Gwel hefyd ynghylch yr amseryddiaeth hwn o eiddo Herod, araith Josephus ei hun wrth yr Iuddewon, Am y Rhyf. V. 9.

† Gwel Pen. 13.

hyn yr oedd y senedd wedi cyffroi: ac Antony a hyspysodd iddynt ymhellach, y byddai er eu mantais yn y rhyfel â'r Parthiaid, fod Herod wedi ei wneud yn frenin. Hyn a ymddangosodd yn llesol i'r holl seneddwyr; a hwy a osodasant allan orchymmyn yn ganlynol.

Dyma ydoedd brif arwydd caredigwydd Antony tu ag at Herod, ddarfod iddo nid yn unig ynnill teyrnas iddo, yr hon ni ddisgwyliodd am dani; (canys ni ddaethai yno ar hyder cael y deyrnas iddo ei hun, yr hon ni feddyliodd y caniatteid hi iddo gan y Rhufeiniaid; y rhai a arferent ei rhoddi i ryw un o deulu brenhinol: ond a fwriadodd ei gofyn i frawd ei wraig, yr hwn oedd ŵyr o du ei dad i Aristobulus, ac i Hyrcanus o du ei fam:) eithr wedi darfod i Herod ei chael iddo ei hun, ac y meddiannodd yr hyn ni ddisgwylasai am dano mor ebrwydd; efe a a ymadawodd o Itali ym mhen y saith niwrnod. Ond y dyn * ieuangc, ŵyr Aristobulus a ofalodd Herod yn ol hyuny am ei roddi i farwolaeth, fel yr adroddwn yn ei briodol le. Ond wedi i'r senedd wahanu, Antony a Cæsar a aethant allan o'r senedd-dy, a Herod rhyngddynt; a chyd â'r pennaethiaid a swyddogion eraill o'u blaen, mewn trefn i offrymmu aberthau, ac i osod i fynu eu cyhoeddiadau gorchymmynol yn y cabidyldy. Antony hefyd a wnaeth wledd i Herod, megis ar y dydd cyntaf o'i deyrnasiad.

Ac fel hyn y derbyniodd y gwr hwn y deyrnas; yr hon a feddiannodd yn y ganfed a'r bedwaredd a phedwar ugain Olympiad; pan oedd Caius Domitius Calvinus yn brif-swyddog yr ail waith; a Caius Asinius Pollio y waith gyntaf.

Yn y cyfamser Antigonus a warchaeodd ar y rhai yn Massada; pa rai oedd ganddynt ddigonedd o angenrheidiau eraill, ond eu bod mewn † diffyg o ddwfr. Yn gymmaint ag ar yr achos yma i Josephus, brawd Herod, fwriadu ffoi oddiyno, gyd â dau cant o'i gymdeithion, at yr Arabiaid. Canys efe a glywsai ddarfod i Malchus edifarhau oblegid y troseddiadau a fu yn euog o honynt ymherthynas i Herod. Ond Duw, trwy beri i wlaw ddisgyn yn y nos, a ragflaenodd ei fynediad ymaith: canys eu cerwyni trwy hynny a lanwyd o ddwfr, fel nad oedd tan angenrheidrwydd o ymsymmud oblegid hynny. Ond yr oeddynt yn awr yn gyssurus; a hynny yn fwy, oblegid fod anfoniad y cyflawnder hwnnw o ddwfr, yr hwn a fuasent mewn eisiau tost o hono, yn ymddangos fel arwydd o ddwyfol ragluniaeth. Felly hwy a wnaethant ruthr, ac a ymladdasant law-law â milwyr Antigonus, ac a ddifethasant nifer fawr o honynt. Ar yr un pryd Ventidius, blaenor lluoedd y Rhufeiniaid, a ddanfonwyd o Syria, i yrru 'r Parthiaid allan o honi; ac a erlidiodd ar eu hol hwynt i Judea: trwy liw yn wir o gynnorthwyo Joseph; ond mewn gwirionedd nid oedd yr holl ymwneuthuriad ychwaneg na chyfrwysdra, mewn trefn i gael arian gan Antigonus; ac yna efe a giliodd ymaith gyd â'r rhan fwyaf o'i fyddin. Ond fel na byddai'r drygioni a fuasai yn euog o hono ddyfod i'r amlwg, efe a adawodd ryw gyfran o'i filwyr tan ofal Silo: â'r hwn y darfu i Antigonus hefyd dynnu cydnabyddiaeth, fel na aflonyddai ef: ac yr oedd etto tan obaith y deuai'r Parthiaid drachefn i'w amddiffyn ef.

## PENNOD XV.

*Am ddychweliad Herod o Itali, a'i lwyddiant yn erbyn ei elynion.*

ERBYN yr amser hwn yr oedd Herod wedi mordwyo o Itali i Ptolemais, a chasglu byddin liosog ynghyd, o ddieithriaid ac o'i wladwyr ei hun; ac efe a dreiddiodd ym mlaen trwy Galilea yn erbyn Antigonus. Silo hefyd a Ventidius a ddaethant i'w gynnorthwyo ef; wedi ei berswadio gan Dellius, yr hwn a anfonasid gan Antony i gynnorthwyo dychweliad Herod yn ol. Yn awr Ventidius a ddefnyddiwyd i lonyddu'r terfysgiadau a barasid gan y Parthiaid yn y dinasoedd. A Silo ydoedd yn Judea, ond wedi ei lygru gan Antigonus. Pa fodd bynnag, fel ag yr aeth Herod ym mlaen, ei fyddin a gynnyddodd beunydd; a holl Galilea, oddigerth ychydig, a ymgyssylltodd ag ef. Ond fel yr oedd yn cyfeirio ei ffordd at y rhai yn Massada,

* Aristobulus ieuangaf. Gwel Llyfr XV. pen. 3.

† Y diffyg gofidus hwn o ddwfr yn Massada, nes bod y lle yn debyg o'i gymmeryd gan y Parthiaid, a grybwyllir yma, ac yn Hanes y Rhyf. I. 15, sy'n arwyddo ei bod yn awr yn amser haf: yr hyn sy'n cyttuno â'm penderfyniad o'r amser ar y flwyddyn pan wnaethpwyd Herod yn frenin yn Rhufain. Gwel Gyssondeb yr Efangylwyr, t. d. 150, 151.

(canys yr oedd yn rhwymedig i ymdrechu i achub y rhai oedd yn yr amddiffynfa honno, yn awr wedi gwarchae arnynt, yn gyntaf o herwydd ei berthynas iddynt,) Joppa a fu'n rhwystr iddo. Canys yr oedd yn angenrhaid iddo gymmeryd y lle hwnnw yn gyntaf; gan ei bod yn ddinas ag oedd mewn amryfusedd ag ef; fel na byddai un lle o gaderuid yn cael ei adael o'i ol yn nwylaw ei elynion, pan elai efe i Jerusalem. A phan wnaeth Silo hyn yn esgus i ymsymmud o Jerusalem, ac ar hynny a erlidiwyd gan yr Iuddewon, Herod a'u goddiweddodd hwynt gyd â llu bychan o wŷr, gan ddodi'r Iuddewon i ffoi, ac achub Silo, pan oedd yn dra analluog i'w amddiffyn ei hun. Ond wedi i Herod gymmeryd Joppa, efe a wnaeth frys i fyned i ryddhau ei deulu oedd yn Massada. Yn awr, o bobl y wlad, rhai a ymgyssylltasant ag ef o herwydd y cyfeillgarwch oedd rhyngddynt â'i dad; ac eraill oblegid gwychder yr ymddangosiad a wnaeth efe; a rhai mewn ffordd o daledigaeth am y llesâd a gawsant oddiwrth bob un o honynt: ond y nifer fwyaf a ddaethant atto mewn gobaith o dderbyn rhyw ffafr ganddo yn ol hynny, pe buasai unwaith wedi ei gadarn sefydlu yn ei deyrnas.

Herod oedd yn awr a chanddo* fyddin gref. Ac fel yr oedd yn myned ym mlaen, Antigonus a osododd faglau a dirgel-wyliadwriaethau ar ei ffordd, a'r mannau yr oedd i fyned trwyddynt. Ond mewn gwirionedd ni wnaeth trwy hynny ddim, neu ond ychydig niweid i'w elyn. Felly Herod a dderbyniodd y rhai hynny o'i deulu o Massada, a'r amddiffynfa Ressa, ac yna a aeth ym mlaen i Jerusalem. Y milwyr oedd gyd â Silo a'i dilynasant yn hyd ei ffordd; megis y darfu i amryw o'r dinasyddion, gan ofn ei awdurdod ef. A chyn gynted ag y gwersyllodd y tu-gorllewin i'r ddinas; y milwyr a osodasid i wylio y lle hwnnw a saethasant eu saethau, ac a ergydiasant eu piccellau atto ef. A phan ruthrodd rhai allan yn dyrfaodd, ac y daethant i ymladd law-law â'r rhesau blaenaf o fyddin Herod; gorchymmynodd iddynt yn y lle cyntaf gyhoeddi o amgylch y muriau: fod ei ddyfodiad er llesâd y bobl, ac er achubiaeth y ddinas: ac nid i gynnal yr ymryson gynt i fynu, yn erbyn ei elynion mwyaf cyhoeddus: ond a ydoedd barod i anghofio y troseddiadau a wnaethai ei elynion mwyaf i'w erbyn. Ond Antigonus mewn ffordd o attebad i'r hyn a barasid ei gyhoeddi gan Herod, a hynny o flaen y Rhufeiniaid, ac o flaen Silo hefyd, a ddywedodd na wnaent yn gyfiawn pe rhoddent y deyrnas i Herod, yr hwn nid oedd yn rhagor na dyn neillduol, ac yn Idumead, h. y. hanner Iuddew;† pan ddylesid ei rhoddi i un o'r teulu brenhinol, fel yr oeddid arferol o wneuthur. Ac os oeddynt yn cynnwys yn bresennol ddrwg-ewyllys tu ag atto ef, ac yn ymroi i'w ddifeddiannu o'r deyrnas, megis wedi iddo ei derbyn gan y Parthiaid; etto fod amryw eraill o'i deulu a allent, yn ol eu ‡ cyfraith hwynt ei meddiannu, a'r rhai hynny yn gyfryw a'r na throseddasant mewn un modd yn erbyn y Rhufeiniaid; ac â hwynt-hwy o'r teulu offeiriadol, yr ydoedd yn beth anweddus eu dodi heibio. Yn awr, tra'r oeddynt yn dywedyd fel hyn y naill wrth y llall, ac y syrthiasant i waradwyddo eu gilydd ar bob tu; Antigonus a barodd i'w wŷr ei hun, ag oedd ar y mur, eu hamddiffyn eu hunain. Y rhai yn arferyd eu bwäau, ac yn dangos awchlymdra mawr yn erbyn eu gelynion, a'u gyrrasant yn hawdd ymaith oddiwrth y tyrau.

Ac yn awr y bu i Silo amlygu ei fod wedi cymmeryd gwobrwyon. Canys efe a osododd nifer ei filwyr i achwyn yn uchel oblegid y diffyg lluniaeth yr oeddynt ynddo; ac i ofyn arian i brynu bwyd iddynt: a bod yn gymhwysach i adael iddynt fyned i leoedd cyfleus i auafu, gan fod y lleoedd agosaf i'r ddinas megis diffeithwch, o achos i filwyr Antigonus ddwyn y cwbl ymaith. Ond Herod a wasgodd ar Silo i beidio ag ymadael; gan berswadio cadbeniaid a milwyr Silo i beidio a'i adael ef, pan yr oedd Cæsar ac

* Bl. 39.

† Yr attebiad hwn o eiddo Antigonus, a lefarwyd yn nyddiau Herod, ac megis yn ei wyneb, ei fod ef yn Idumead, h. y. yn hanner Iuddew, a ymddengys i mi o fwy awdurdod, na'r esgusodiad o eiddo ei ganmolwr a'i wenhieithwr Nicolaus o Damascus, fod ei achau yn tarddu oddiwrth yr Iuddewon, cyn belled yn ol a'r caethiwed Babilonaidd; Pen. i. Yn ganlynol Josephus sydd bob amser yn ei gyfrif yn Idumead; er dywedyd o hono fod ei dad Antipater o'r un bobl a'r Iuddewon: pen. 8, ac wrth enedigaeth yn Iuddew, XX. 8, fel yr ydoedd yn wir broselytiad cyfreithlon, y cyfryw ag oedd yr Idumeaid, XIII. 9, yn cael eu cyfrif yn un bobl â'r Iuddewon.

‡ Deut. xvii. 15.

Antony, ynghyd â'r senedd wedi ei ddanfon yno: oblegid y byddai iddo ef barottoi digonedd iddynt o bethau angenrheidiol; ac y medrai yn hawdd gael iddynt gymmaint ag a fynnant. Yn ol y perswadiad hwn, efe a aeth allan yn uniongyrch i'r wlad; ac ni adawodd yr esgus lleiaf i Silo i ymadael. Canys efe a ddygodd ynghyd fesur anghredadwy o ymborth; ac a ddanfonodd at ei gydnabyddiaeth o amgylch Samaria, i ddanfon iddo i lawr ŷd, gwin, ac olew. Antigonus a ddeallodd hyn: ac a ddanfonodd yn ddioed tros y wlad y cyfryw a attaliai, ac a lechent mewn disgwyliad am y rhai a ddanfonid ar lêd gan Herod i chwilio am angenrheidiau. Felly y dynion hyn a ufuddhasant i orchymmyn Antigonus; ac a gawsant ynghyd nifer mawr o wŷr arfog o amgylch Jericho; a hwy a lechasant ym mysg y mynyddau, ac a wyliasant y dynion oedd yn dwyn y lluniaeth i'r fyddin. Pa fodd bynnag, nid oedd Herod segur yn y cyfamser. Canys efe a gafodd ddeg mintai o filwyr; o ba rai yr oedd pump o honynt yn Rhufeiniaid, a phump yn Iuddewon, gyd â rhai cyflogedig yn eu mysg, a chyd â rhai gwŷr meirch, a ddaethant i Jericho. Ac fel y cawsant y ddinas wedi ei gadael; ond bod pum cant o honynt wedi sefydlu eu hunain ar bennau'r mynyddoedd, gyd â'u gwragedd a'u plant; y rhai hyn a gymmerodd, ac a'u danfonodd ymaith. Ond y Rhufeiniaid a syrthiasant ar y ddinas, ac a'i hyspeiliasant; ac a gawsant y tai yn llawn o bethau a gyfrifent yn ddaionus: felly y brenin a adawodd wersyll yn Jericho, ac a ddaeth yn ol drachefn; ac a ddanfonodd fyddin y Rhufeiniaid i gymmeryd eu gauaf-leoedd yn y gwleddydd ag oedd wedi dyfod trosodd atto ef: Judea, Galilea, a Samaria. A chymmaint a hyn a ddarfu Antigonus ynnill ar Silo am y gwobrwyon a roisai iddo; bod i ran o'r fyddin aros yn Lidda, mewn trefn i foddhau Antony: felly y Rhufeiniaid a roddasant eu harfau heibio, ac a fuont fyw mewn helaethrwydd o bob peth.

Herod, pa fodd bynnag, nid ydoedd foddlon i aros yn llonydd, ond a ddanfonodd allan ei frawd Joseph yn erbyn Idumea, gyd â dwy fil o wŷr traed yn arfog, a phedwar cant o wŷr meirch; tra y daeth efe ei hun i Samaria, gan adael ei fam a'i berthynasau eraill yno: canys yr oeddynt eisoes wedi myned allan o Massada; ac a aethent i Galilea, i ryw le a gedwid gan wersyllwyr o eiddo Antigonus. Ac efe a aeth rhagddo i Sepphoris, gan i Dduw ddanfon eira, pan aeth gwersyllwyr Antigonus ymaith; ac yr oedd ganddynt gyflawnder o gynnaliaeth. Efe hefyd a aeth ymaith, ac a hollol fwriadodd ddifetha'r yspeilwyr hynny oedd yn aros mewn ogofeydd, ac yn gwneuthur llawer o ddrygau yn y wlad. Felly efe a ddanfonodd lu o wŷr meirch; a thair mintai o wŷr traed yn arfog i'w herbyn. Yr oeddynt yn dra agos i bentref a elwid Arbela. Ac ar y deugeinfed dydd gwedi, bu iddo ddyfod ei hun, a'i holl fyddin. Ac fel y rhuthrodd y gelynion allan yn hyf ar ei warthaf, yr asgell aswy o'i fyddin a giliodd yn ol. Ond wedi ymddangos o hono ef gyd â chorph o ddynion, efe a barodd i'r rhai hynny ffoi, a fuasent o'r blaen yn gorchfygwyr; ac a alwodd yn ol ei filwyr a ffoisent ymaith. Efe hefyd a bwysodd ar ei elynion, ac a'u herlidiodd cyn belled ag afon yr Iorddonen; er rhedeg o honynt ymaith ar hyd amrywiol ffyrdd. Felly efe a ddygodd trosodd atto holl Galilea, oddigerth y rhai oedd yn aros yn yr ogofeydd; ac a rannodd arian rhwng pob un o'i filwriaid; gan roddi iddynt gant a deg a deugain drachmæ bob un; a llawer yn rhagor i'w cadbeniaid; ac a'u danfonodd i auaf-leoedd. Ar ba amser y daeth Silo atto, a'i flaenoriaid gyd ag ef, oblegid na roddai Antigonus iddynt luniaeth ddim yn hwy: canys ni chynnaliodd efe hwynt ychwaneg nag un mis. Efe a ddanfonodd hefyd trwy'r holl wlad o amgylch, gan orchymmyn iddynt symmud eu lluniaethau ymaith, a chilio i'r mynyddoedd, fel na chaffai y Rhufeinwyr ddim ymborth i fyw arno; ac felly meirw o honynt gan newyn. Ond Herod a orchymmynodd ofal yr achos hwnnw i Pheroras, ei frawd ieuangaf; ac a orchymmynodd iddo adgyweirio Alexandrium. Yn ganlynol efe a barodd i'r milwyr feddiannu amldra mawr o angenrheidiau; gan ail adeiladu Alexandrium, a fuasai o'r blaen yn anghyfannedd.

Ynghylch y pryd hwn y bu i Antony aros

yspaid o amser yn Athen; a Ventidius yr hwn oedd yn awr yn Syria, a ddanfonodd am Silo; ac a orchymmynodd iddo gynnorthwyo yn y lle cyntaf i orphen y rhyfel presennol: ac yna i ddanfon am eu cyngreirwyr at y rhyfel yr oeddynt eu hunain yn rhwym ynddo. Ond am Herod efe a aeth gyd â brys yn erbyn yr yspeilwyr ydoedd yn yr ogofeydd; ac a ddanfonodd Silo ymaith at Ventidius, tra'r aeth efe ei hun yn eu herbyn hwynt.

Yr ogofeydd hyn oeddynt mewn mynyddau tra serth; ac yn eu canol yr oedd dibyn, a mynedfa i mewn i'r ogofeydd; y rhai hyn a amgylchynid gan greigydd geirwon. Ac yn y rhai hyn yr oedd yr yspeilwyr yn gorwedd yn guddiedig, gyd â'u teulnoedd oll o'u hamgylch. Ond y brenin a orchymmynodd i fath o gistiau gael eu gwneuthur mewn trefn i'w difetha hwynt; y rhai a ollyngid i lawr yn rhwym wrth gadwynau o haiarn, gan beiriant ar ben neu frig y mynyddoedd: gan nad oedd bossibl i ddringo i fynu attynt gan serthedd y mynyddau, na dyfod i lawr yno oddi uchod. Yn awr y cistiau hyn ydoedd lawn o wŷr arfog, a bachau hirion o heiyrn, â'r rhai y gallent dynnu allan o'r ogofeydd y rhai a'u gwrthwynebai, ac yna eu treiglo tros y dibyn, a'u lladd wrth hynny. Ond gollyngiad y cistiau i lawr a brofodd yn waith o berygl mawr; o herwydd y dyfnder anarferol yr oeddynt i'w gollwng iddo: yr un pryd yr oedd ganddynt ymborth yn y cistiau gyd â hwynt. Ond pan ollyngid y cistiau i lawr, ac na feiddia neb o enau y ffau ddyfod yn agos attynt, ond a arhosent yn llonydd gan ofn, rhai o'r milwyr a ymarfogasant, a chyd â'u dwylaw a ymaflent yn y cadwynau wrth y rhai y gollyngid i lawr y cistiau, ac a aethant at enenau yr ogofeydd, o herwydd eu bod yn ddig am i'r fath oediad gael ei wneuthur, trwy fod yr yspeilwyr ddim yn meiddio dyfod allan o'r ogofeydd. A phan ddeuent at enenau rhai o'r ogofeydd, hwy yn gyntaf a laddent y rhai a fyddai wrth enau'r ffau â'u piccellau, ac ar ol hyn a dynnent y rhai hynny attynt â'u gwrthwynebai hwynt â'u bachau, ac a'u treiglent i lawr tros y creigiau; ac yna a aethant i'r ogofeydd, ac a laddasant lawer yn rhagor: wedi hynny hwy a aent i'w cistiau drachefn, ac a orweddent yn llonydd. Ond ar hyn, dychryn a oddiweddodd eraill o'r yspeilwyr pan glywsant y llefau a wnaethpwyd, a hwy a anobeithiasant ddiangc. Pa fodd bynnag, wedi i'r nos ddyfod ym mlaen, fe ddododd attalfa ar yr holl waith. Ac fel y darfu i'r brenin trwy ei gennadwr gyhoeddi pardwn i'r cyfryw a roddent eu hunain i fynu iddo, llawer a wnaethant dderbyniad o hono. Yr un drefn o ymosodiad ar y ffauau a wnaethpwyd y dydd nesaf: a hwy a aethant ymhellach, ac a aent allan mewn basgedau i ymladd â hwynt wrth eu drysau, ac a ddanfonasant dân i'w mysg, fel y llosgodd eu ffauau; canys yr oedd yno lawer o ddefnyddiau hylosg ynddynt. Yn awr yr oedd yno hen ŵr, yr hwn a ddaliwyd yn un o'r ogofeydd, gyd â gwraig a saith o blant; y rhai hyn a ymbiliasant am gennad i ddyfod allan, a rhoddi eu hunain i fynu i'r gelyn: ond y gwr a safodd wrth enau yr ogof; a phob tro y deuai un o'i blant allan efe a'i lladdai ef, nes iddo eu difetha hwynt bob un; ac ar ol hynny efe a laddodd ei wraig, gan fwrw eu cyrph meirw i lawr tros y dibyn, a'i hunan ar eu hol hwynt; ac felly a ddewisasant fyned i angau, yn hytrach nâ chaethiwed. Ond cyn iddo wneuthur hyn, efe a fawr waradwyddodd Herod am waelder ei deulu, er ei fod y pryd hynny yn frenin. Herod hefyd a ganfu yr hyn yr oedd yn ei wneuthur o ben y mynydd; ac a estynnodd ei law allan, gan gynnyg iddo bob rhyw ddiogelwch am ei fywyd. Trwy'r moddion hyn y bu i'r holl yspeilwyr yn yr ogofeydd yma gael eu llwyr ddarostwng.

Wedi i'r brenin ddanfon Ptolemy tros yr holl barthau yma o'r wlad, megis blaenor ei fyddin, efe a aeth i Samaria gyd â chwe chant o wŷr meirch, a thair mil o wŷr traed yn arfog, megis â bwriad i ymladd ag Antigonus. Ond ni lwyddodd ei awdurdod ar y fyddin yn dda gyd â Ptolemy: ond y rhai a flinasent Galilea o'r blaen a'u goddiweddasant, ac a'i lladdasant ef: ac wedi iddynt wneuthur hyn, hwy a ffoisant i blith y llynnoedd, a mannau mwyaf anhygyrch; gan ddifrodi ac yspeilio pa beth bynnag a allent

ddyfod atto yn y lleoedd hyn. Ond Herod a ddychwelodd yn fuan, ac a'u cospodd hwynt am yr hyn a wnaethent. Canys rhai o'r gwrthryfelwyr yma a laddodd; ac eraill o honynt, y rhai a ffoisent i gedyrn-leoedd, a warchaeodd arnynt, ac a'u lladdodd, gan ddadymchwel eu hamddiffynfeydd. Ac wedi iddo fel hyn roddi diwedd ar eu gwrthryfel, efe a osododd ffin neu deyrnged ar y dinasoedd o gant o dalentau.

Yn y cyfamser Pacorus a *syrthiasai mewn brwydr; a'r Parthiaid a orchfygwyd, wedi i Ventidius anfon Macheras yn gynnorthwy i Herod, gyd â dwy leng, a mil o wŷr meirch, pan archodd Antony ef i wneuthur brys. Ond Macheras, wrth gymmelliad Antigonus, heb gymmeradwyaeth Herod, megis wedi ei lygru ag arian, a aeth o amgylch i gymmeryd golwg ar ei fatterion. Ond Antigonus yn ammeu ei amcanion yn ei ddyfodiad, ni wnaeth dderbyniad o hono i'r ddinas, ond a'i cadwodd mewn pellder, trwy ergydio cerrig atto â ffyn-tafl; gan ddangos yn amlwg yr hyn yr oedd efe yn ei feddwl. Ond fel yr oedd Macheras yn cydnabod i Herod roddi cyngor da iddo, a darfod iddo ef gamsynied wrth beidio gwrando y cyngor hwnnw, efe a giliodd i ddinas Emmaus; a'r cyfryw Iuddewon a gyfarfyddodd, efe a'u lladdodd hwynt, pa un bynnag a fyddent ai gelynion neu gyfeillion, o herwydd y cynddaredd yr oedd ynddo ar gyfrif y caledi a ddioddefodd. Y brenin a gythruddwyd wrth yr ymddygiad hwn, ac a aeth i Samaria, ac a ymrôdd i fyned at Antony oblegid yr achosion hyn; ac i hyspysu iddo nad oedd yn sefyll mewn dim angen o'r fath gynnorthwywyr, y rhai a wnaethent fwy o ddrygau iddo ef nag a wnaethai i'w elynion; ac y gallai efe o hono ei hun orchfygu Antigonus. Ond Macheras a'i dilynodd ef, ac a ddymunodd arno nad elai at Antony; neu os oedd efe yn ymroi i fyned, ar iddo gyssylltu ei frawd Joseph ag ef, a gadael iddynt hwy ymladd yn erbyn Antigonus. Felly efe a gymmodwyd â Macheras, trwy daerineb ei erfyniadau. Yn ganlynol efe a adawodd Joseph yno gyd â'i fyddin: ond a orchymmynodd iddo na redai i beryglon, ac na ymrysonai â Macheras.

Ond ymherthynas iddo ei hun, efe a frysiodd at Antony; (yr hwn oedd y pryd hynny yngwarchaedigaeth Samosata, lle ar lan Euphrates), gyd â'i luoedd, yn wŷr meirch a gwŷr traed, i fod yn gynnorthwyadon iddo. A phan ddaeth i Antioch, a chyfarfod yno â nifer mawr o wŷr ag oedd â dymuniad ganddynt i fyned at Antony, ond na allent anturio myned gan arswyd; o herwydd i'r Barbariaid syrthio ar ddynion ar y ffordd, a lladd llawer: yntau a'u hannogodd hwynt, ac a aeth yn arweinydd iddynt ar hyd y ffordd. Yn awr, pan oeddynt o fewn taith deuddydd i Samosata, y Barbariaid a osodasent gynllwynwyr dirgelaidd ar eu ffordd, i aflonyddu y rhai a ddeuent at Antony: a lle yr oedd mannau coediog yn gwneud y ffyrdd yn gulion, a arweinient i'r gwastadedd, yno y gosodasant nid ychydig o'u gwŷr meirch, y rhai oeddynt i sefyll yn yr unfan, nes i'r tramwywyr hynny fyned heibio i dir llydan. Yn awr, mor gynted ag yr aeth y rhesau blaenaf heibio, (canys Herod a arweiniai y rhai olaf), y cynllwynwyr ag oedd ynghylch pum cant o nifer, a syrthiasant yn ddiarwybod arnynt; ac wedi dodi y rhai blaenaf i ffoi, y brenin a ddaeth gan farchogaeth yn chwyrn, gyd â'r llu oedd o'i amgylch, ac yn ebrwydd a yrrodd y gelyn yn ol. Trwy ba foddion efe a wnaeth ei wŷr ei hun yn hyfach i fyned ym mlaen: yn gymmaint ag i'r rhai a redent ymaith cyn hynny yn awr ddychwelyd yn ol; a'r Barbariaid a laddwyd ar bob llaw. Y brenin hefyd a aeth ym mlaen gan eu lladd hwynt; a chafwyd yn ol yr holl gyfreidiau; ym mysg pa rai yr oedd nifer fawr o anifeiliaid a ddygai bynnau, ynghyd â chaethweision: ac efe a aeth rhagddo yn ymgyrch tu a Samosata. Ac fel yr oedd lliaws mawr o'r rhai hynny yn y goedwig a ymosodai arnynt, ac oeddynt agos i'r dramwyfa a arweiniai i'r gwastadedd; efe a wnaeth ruthr ar y rhai hyn hefyd gyd â chorph mawr o ddynion, ac a'u dododd i ffoi, ac a laddodd lawer o honynt, ac wrth hynny a barodd y ffordd yn ddiberygl i'r rhai a'i tramwyai rhag llaw. A'r rhai hynny a alwasant Herod eu hachubwr a'u hamddiffynwr.

* Ar y 18fed o Gorphenaf, yn ol Pagi.

A phan ydoedd yn agos i Samosata, Antony a ddanfonodd allan ei fyddin yn eu trefniadau priodol i gyfarfod ag ef, mewn trefn i dalu y parchedigaeth hwn i Herod: ac oblegid y cynnorthwy a ddygodd iddo. Canys efe a glywsai pa ymosodiadau a wnaethai'r Barbariaid arno yn Judea. Yr ydoedd hefyd yn dra llawen ganddo ei weled yno; megis wedi hyspysu iddo y fath weithredoedd mawrion a gyflawnasai ar y ffordd. Felly efe a'i croesawodd ef yn dra charedig, ac ni fedrai amgen na rhyfeddu wrth ei wroldeb. Antony hefyd a'i cofleidiodd cyn gynted ag y gwelodd ef, ac a'i cyfarchodd yn y modd mwyaf caredig, gan roddi'r llaw uchaf iddo, megis ag y gwnaethai ef ei hun yn ddiweddar yn frenin. Ac ym mhen ychydig amser Antiochus a roddodd i fynu'r amddiffynfa: ac ar y cyfrif hwnnw'r oedd y rhyfel yma wedi ei ddibennu. Yna Antony a roddodd ofal y gweddill i Sosius, gan orchymmyn iddo gynnorthwyo Herod; ac efe ei hun a aeth i'r Aipht. Yn ganlynol Sosius a ddanfonodd ddwy leng o filwyr o'r blaen i Judea, yn gynnorthwyadon i Herod; ac efe ei hun a ganlynodd gyd â chorph y filwriaeth.

Yn awr, yr ydoedd Joseph eisoes wedi ei ladd yn Judea yn y modd canlynol. Efe a anghofiodd y gorchymmyn a roddasai ei frawd Herod iddo, pan aethai ymaith at Antony. Ac wedi gwersyllu o hono yn y mynyddau; (canys Macheras a fenthyccasai iddo bump o luoedd;) efe a aeth gyd â brys i Jericho, mewn trefn i fedi yr ydau perthynol i'r lle hwnnw. Ac fel nad oedd y milwyr Rhufeinig ond newydd eu codi, ac yn anghyfarwydd mewn rhyfel; canys rhan fawr o honynt a gasglesid o Syria: efe a oresgynnwyd gan y gelyn, ac a ddaliwyd yn y lleoedd hyn o anhawsdra; ac efe a laddwyd ei hun fel yr oedd yn wrol; a'r holl fyddin a gollwyd. Canys chwech o finteiodd a laddwyd. Felly wedi bod meddiant gan Antigonus ar y cyrph meirwon, efe a dorrodd ymaith ben Joseph, er i Pheroras ei frawd gynnyg ei brynu am y pris o ddeg talent a deugain. Ar ol y frwydr hon, y Galileaid a ymwrthodasant â'u presennol lywodraeth; gan gymmeryd y rhai o blaid Herod, a'u boddi yn y llynnoedd: a rhan fawr o Judea ydoedd wedi myned yn ymbleidgar. Ond Macheras a amddiffynnodd y lle a elwid Gitta, yn Samaria.

Ar yr amser hwn negeseuwyr a ddaeth at Herod, gan hyspysu iddo yr hyn a ddigwyddasai. Ac wedi ei ddyfod ef i Daphne wrth Antioch, hwy a adroddasant iddo y dinystr a ddaethai ar ei frawd. Ond hyn a ddisgwyliodd oddiwrth ryw weledigaethau a gawsai yn ei freuddwydion; yr hyn oedd yn eglur ragddangos marwolaeth ei frawd. Felly efe a brysurodd ei yrfa; ac wedi ei ddyfod i fynydd Libanus, efe a dderbyniodd ynghylch wyth gant o wŷr y lle hwnnw; a chanddo eisoes gyd ag ef un lleng o Rufeinwyr; a chyd â'r rhai hyn efe a ddaeth i Ptolemais. Efe hefyd a gychwynnodd ymaith yn y nos gyd â'i fyddin, ac a aeth rhagddo i Galilea. Yma y bu i'r gelyn ei gyfarfod, ac ymladd ag ef, ac a orchfygwyd: a hwy a gauwyd i fynu yn y lle hwnnw o gadernid, o ba un yr aethant allan y dydd o'r blaen. Felly efe a ymosododd ar y lle y bore nesaf. Ond o herwydd tymmestl fawr ag ydoedd y pryd hwnnw yn dra nerthol, ni allodd wneuthur dim; ond a dynnodd ymaith ei fyddin i'r pentrefi cymmydogol. Etto cyn gynted ag y daeth y lleng arall a ddanfonasai Antony yn gynnorthwy iddo, y rhai oeddynt yn y wersyllfa a ofnasant, ac a'i gadawsant hi yn y nos. Yna yr aeth y brenin rhagddo yn gyflym tu a Jericho, gan fwriadu dial ei hun ar y gelyn, am laddedigaeth ei frawd. Ac wedi iddo wersyllu, efe a wnaeth wledd i'r prif-swyddogion: ac yn ol i hynny fyned trosodd, a gollwng o hono ei wahoddedigion ymaith, efe a ymneillduodd i'w 'stafell ei hun. Ac yma y gall un ganfod, pa fath ofal oedd gan Dduw tros y brenin. Canys y rhan uchaf o'r tŷ a syrthiodd i lawr, pan nad oedd neb ynddo, ac felly ni laddodd un dyn; yn gymmaint ag y credodd yr holl bobl fod gan Dduw gariad tu ag at Herod, gan ddiangc o hono rhag y fath berygl dirfawr a rhyfedd. Ond y dydd nesaf chwe' mil o'r gelynion a ddaethant i lawr o'r mynyddau, i ymladd â'r Rhufeiniaid, yr hyn a'u dychrynodd yn fawr. A'r milwyr

oeddynt mewn arfogaeth ysgafn a nesasant, ac a daflasant at warchawdlu'r brenin a ddaethant allan, gerrig a saethau; ac un o honynt a'i tarawodd efâ saeth yn ei ystlys. Antigonus hefyd a ddanfonodd un o'i flaenoriaid yn erbyn Samaria, enw pa un oedd Pappus, gyd â rhai byddinoedd, gan ewyllysio dangos i'r gelyn pa mor alluog oedd efe; a bod ganddo wŷr i'w hepcor yn ei ryfel ag ef. Efe a eisteddodd i lawr i wrthwynebu Macheras. Ond Herod wedi iddo gymmeryd pum dinas, a gymmerodd y rhai a adawsid ynddynt, y rhai yr oedd eu nifer ynghylch dwy fil, ac a'u lladdodd hwynt, gan losgi y dinasoedd eu hunain; ac yna efe a ddychwelodd i fyned yn erbyn Pappus, yr hwn oedd wedi gwersyllu wrth bentref a elwid Isanas. Ac amryw a redasant i mewn atto o Jericho a Judea, yn agos i ba fannau yr oedd efe: a'r gelyn a syrthiasant ar ei wŷr, mor nerthol oeddynt y pryd hwn, ac a ymgyssylltasant mewn brwydr â hwynt. Ond efe a'u gorchfygodd hwynt yn yr ymladdfa; ac mewn trefn i ymddial arnynt am laddiad ei frawd, efe a erlidiodd yn chwyrn ar eu hol, fel yr oeddynt yn diangc ymaith. Ac fel yr oedd y tai yn llawn o wŷr arfog,* a llawer o honynt a aethant i fynu i bennau'r tai, efe a'u cafodd tan ei awdurdod, ac a dynnodd i lawr gronglwydydd y tai, ac a ganfuant yr ystafelloedd isaf yn llawn o filwyr mewn dalfa, ac yn gorwedd ar eu gilydd yn bentwr. Felly hwy a fwriasant feini i lawr arnynt hwy, fel yr oeddynt yn cydorwedd, ac wrth hynny a'u lladdasant. Ac ni fu golwg mwy arswydus na hwn yn yr holl ryfel: ym mha le, y tu hwnt i'r muriau, yr oedd lliaws annhraethol o ddynion meirw yn gorwedd yn bentwr y naill ar gefn y llall. Y weithred hon ydoedd yr un yn bennaf a ddarostyngodd yspryd y gelyn, yr hwn a ddisgwyliodd yn awr yr hyn a ddenai arno. Canys efe ymddangosodd lliaws mawr o bobl, a ddaethent o fannau pell, o amgylch y pentref; ond ar hyn a ffoisant ymaith. A phe na buasai o herwydd dyfnder y gauaf, yr hyn y pryd hynny a'u lluddiodd, buasai byddin y brenin yn ebrwydd yn myned i Jerusalem; megis rhai wedi ymgefnogi yn ol y llwyddiant hwn: a'r holl orchwyl a fuasai wedi dibennu yn ddioed: canys Antigonus ydoedd eisoes yn ystyried pa fodd y gallai ddiangc ymaith, a gadael y ddinas.

Ar yr amser hwn y brenin a roddes orchymmyn i'r milwyr fyned i swppera, (canys yr oedd yn ddiweddar o'r nos:) tra'r elai efe i'r ystafell i wneud defnydd o'r ymolchfa, am ei fod yn dra lluddedig: ac yma y bu iddo fod yn y perygl mwyaf; yr hyn etto, trwy ragluniaeth Duw, a ddiangodd rhagddo. Canys fel yr oedd wedi ymnoethi, ac nad oedd ond un o'i weision ganddo yn ei ddilyn, i'w wylio tra byddai yn ymolchi yn yr ystafell du-fewnol; rhai o'r gelynion yn arfog a ymguddiasent yno rhag ofn, oedd y pryd hynny yn y lle. Ac fel yr oedd efe yn ymdrochi, y cyntaf o honynt a ddaeth allan gyd â'i gleddyf noeth, ac a ymadawodd trwy'r drysau: ac ar ei ol ef, yr ail a'r trydydd yn yr un modd: ac a oeddynt tan y fath ddychryn, fel na wnaethant ddim niweid i'r brenin; gan feddwl iddynt ddiangc yn dda ddigon, trwy beidio a goddef dim niweid eu hunain cyn eu dyfodiad allan o'r tŷ. Pa fodd bynnag, y dydd nesaf efe a dorrodd ymaith ben Pappus, (canys yr oedd efe eisoes wedi ei ladd,) ac a'i danfonodd i Pheroras; fel cospedigaeth o'r hyn a ddioddefasai ei frawd trwy'r moddion o hono ef: canys efe oedd y gwr a'i lladdasai â'i law ei hun.

Wedi † i erwindeb y gauaf fyned trosodd, Herod a symmudodd ei fyddin, ac a ddaeth yn agos i Jerusalem, gan wersyllu yn dra agos i'r ddinas. Yn awr, hon ydoedd y drydedd flwyddyn wedi ei wneuthur yn frenin yn Rhufain. Ac fel yr oedd yn symmud ei wersyll, ag y daeth yn agos i'r rhan hynny o'r mur ag a ellid yn hawsaf ei ymchwel, efe a wersylliodd o flaen y deml; gan fwriadu gwneud ei ymosodiad yn yr un dull a Pompey. Felly efe a amgylchodd y lle â thri o wrthgloddiau, ac a adeiladodd dyrau, gan osod llawer o ddwylaw ar waith; ac a dorrodd i lawr y prennau oedd ogwmpas y ddinas:

* Gall fod yn deilwng o'n sulw yma, na allai'r milwyr hyn o eiddo Herod fyned i nen y tai hyn ag ydoedd yn llawn o elynion, mewn trefn i ddinoethi y lloriau uchaf, a difetha y rhai oedd isod, ond ar hyd ysgolion o'r tu allan: yr hyn sydd yn egluro rhai testunau o'r Testament Newydd; trwy'r hyn yr ymddengys fod dynion y pryd hynny yn arfer esgyn yno ar hyd ysgolion o'r tu allan. Gwel XXIV. 17. Marc xiii. 15. Luc v. 19. xvii. 31.

† Bl. 37.

ac yn ol iddo appwyntio gwŷr cymmwys i olygu'r gwaith, tra'r oedd y fyddin yn aros o flaen y ddinas, efe ei hun a aeth i Samaria, i gwblhau ei briodas; a chymmeryd iddo yn wraig ferch Alexander, mab Aristobulus. Canys efe a'i dyweddiasai eisoes, fel yr adroddais o'r blaen.

## PENNOD XVI.

*Herod, yn ol ei briodas â Mariamne, yn cymmeryd Jerusalem trwy drais, wedi ei gynnorthwyo gan Sosius; ac yn dodi diwedd ar lywodraeth yr Asmoneaid.*

WEDI myned y briodas trosodd, Sosius a ddaeth trwy Phœnicia; wedi iddo ddanfon ei fyddin trwy barthau canol y wlad. Efe hefyd, yr hwn oedd eu llywydd, a ddaeth ei hunan, gyd â nifer mawr o wŷr meirch, a gwŷr traed. Y brenin hefyd a ddaeth o Samaria, ac a ddygodd gyd ag ef fyddin liosog, heblaw yr hyn oedd yno o'r blaen: canys yr oeddynt ynghylch deng mil ar hugain. A hwy oll a gydgyfarfuasant wrth furiau Jerusalem; ac a wersyllasant wrth fur gogleddol y ddinas, a hwy yn awr yn fyddin o un lleng ar ddeg o wŷr traed, yn arfog, gyd â chwe mil o wŷr meirch, a chynnorthwyadon allan o Syria. Y cad-flaenoriaid oeddynt ddau; sef, Sosius, yr hwn a anfonasid gan Antony, yn gynnorthwy i Herod; a Herod ar ei gyfrif ei hun, mewn trefn i gymmeryd y llywodraeth oddiwrth Antigonus, yr hwn a gyhoeddasid yn elyn i Rufain; ac fel y byddai efe ei hun yn frenin yn ol gorchymmyn y senedd.

Yn awr, yr Iuddewon oedd o fewn i furiau'r ddinas a ymladdasant yn erbyn Herod gyd â bywiogrwydd mawr a sêl; canys yr holl genedl a ymgasglasai ynghyd: hwy hefyd a roddasant allan amryw brophwydoliaethau ymberthynas i'r deml; ac amryw bethau cyttunol â'r bobl; megis y byddai i Dduw eu gwaredu allan o'u presennol beryglon. Hwy hefyd a ddygasant ymaith yr hyn oll oedd tu allan i'r ddinas, fel na adawent ddim a fyddai at gynnaliaeth dynion neu anifeiliaid; ac wrth yspeilio yn ddirgel, chwanegasant ddiffyg angenrheidiau yn fwy. Pan ddeallodd Herod hyn, efe a'u gwrthwynebodd â chynllwynion dirgelaidd, ac a ddanfonodd lengau o wŷr arfog i ddwyn ymborth i mewn, a hynny o fannau pellennig; fel ar fyrr amser yr oedd ganddynt ddigonoldeb. Yn awr, y tri gwrthglawdd a wnaethpwyd yn hwylus o herwydd fod cynnifer o ddwylaw bob amser ar waith gyd â hwynt. Canys y tymmor haf ydoedd, ac nid oedd dim yn eu hattal rhag myned ym mlaen â'u gwaith, nac oddiwrth yr hîn na'r gweithwyr. Felly hwy a ddygasant eu peiriannau i weithredu, ac a siglasant furiau'r ddinas; ac a geisiasant trwy bob ffordd fyned i mewn. Etto nid oedd y rhai oddi mewn yn canfod dim achos i ofni: ond hwythau hefyd a barottoisant nid ychydig o beiriannau, i wrthwynebu y rhai o eiddo'r gwarchaewyr. Hwy hefyd a ruthrasant allan; ac nid yn unig a losgasant y peiriannau oedd gan y gelynion yn anorphen, ond y rhai oedd felly: a phan ddaethant at ymladd law-law, nid oedd eu hymdrechiadau yn llai gwrol na'r rhai hynny o ochr y Rhufeiniaid; er eu bod is law iddynt mewn medrusrwydd. Hwy hefyd a adeiladasant weithiau newyddion, wedi i'r rhai cyntaf gael eu dinystrio: a chan wneuthur cudd-gloddiau tan y ddaear, cyfarfuasant felly â'u gilydd, ac a ymladdasant yno: a chan arferyd cefnogrwydd gorphwyllog, yn lle gwrolder gwaraidd, hwy a barhasant i gynnal y rhyfel hwn hyd y diwedd. A hyn a wnaethant tra'r oedd byddin dra nerthol o amgylch ogylch iddynt; a phan oedd wedi cyfyngu arnynt trwy newyn a diffyg angenrheidiau: canys yr amser hwn a ddigwyddodd fod y flwyddyn Sabbothol. Y rhai cyntaf a ddringasant y muriau oedd ugain gwŷr detholedig: y rhai nesaf oedd canwriaid Sosius. Canys y mur cyntaf a gymmerwyd ym mhen y deugain niwrnod; a'r ail ym mhen y pymtheng niwrnod yn rhagor; pan losgwyd rhai o'r tai, neu ystafelloedd bychain o amgylch y deml; y rhai a roddes Herod allan ddarfod eu llosgi gan Antigonus, i'r diben i beri ei gasâu ef gan yr Iuddewon. Ac wedi i gyntedd nesaf allan y deml, a'r ddinas iselaf gael eu cymmeryd, yr Iuddewon a ffoisant i gyntedd tu-fewnol y deml, ac i'r ddinas uchaf. Ond yn awr â hwy yn ofni rhag i'r Rhufeiniaid

eu rhwystro i offrymmu eu beunyddiol aberthau i Dduw, hwy a ddanfonasant gennadwr; ac a ddymunasant arnynt yn unig i adael iddynt ddyfod ag anifeiliaid i mewn yn aberthau. Hyn a ganiattaodd Herod; gan obeithio eu bod yn myned i roddi i fynu 'r ymryson. Ond pan welodd na wnaethant ddim o'r hyn yr oedd efe yn ei ddisgwyl, ond a barhasent i'w wrthwynebu yn greulon, mewn trefn i gadw 'r deyrnas i Antigonus; efe a wnaeth ruthr ar y ddinas, ac a'i cymmerodd hi trwy drais. Ac yn awr pob cwrr o honi ydoedd lawn o'r rhai a laddwyd, trwy ddigter y Rhufeiniaid wrth hir barhad y cynllwyn, a thrwy danbeidrwydd sêl yr Iuddewon ydoedd o du Herod, y rhai ni fynent i un o'u gwrthwynebwyr gael byw.

Felly hwy a leddid yn barhaus yn yr heolydd culion, ac yn y tai yn dorfeydd, ac fel yr oeddynt yn ffoi i'r deml am noddfa: ac nid oedd dim tosturi yn cael ei ddangos at fabanod na hynafgwyr: ac ni arbedasant gymmaint a rhai o'r rhyw gwannaf. Ië, er i'r brenin anfon o amgylch i ddeisyfu arnynt arbed y bobl, etto ni attaliodd neb eu llaw oddiwrth gyflafanu neu ladd; ond fel pe buasent yn gymdeithas o ddynion gwallgof, hwy a ymosodasant ar bersonau o bob math, heb wneuthur dim gwahaniaeth. Ac yna Antigonus, heb ddim parch i'w sefyllfa o'r blaen, nac yn bresennol, a ddaeth i wared o'r tŵr, ac a syrthiodd i lawr wrth draed Sosius. Efe, pa fodd bynnag, ni chymmerodd ddim tosturi tu ag atto, ynghyfnewidiad ei amgylchiad; ond a'i difenwodd ef tu hwynt i fesur, gan ei alw Antigone.* Eithr ni ymddygodd tu ag atto fel gwraig neu ddynes, trwy adael iddo gael rhyddid; ond a'i dododd tan rwymau, ac mewn cadwraeth sicr.

Ac yn awr, Herod wedi gorchfygu ei elynion, ei ofal ydoedd ymherthynas i lywodraethu y rhai oedd ddieithriaid, ac a fuasent gynnorthwywyr iddo. Canys y tyrfaoedd o ddieithriaid a ruthrasant i edrych y deml, a'r pethau cyssegredig ynddi. Ond â'r brenin yn barnu fod buddugoliaeth yn achos o gystudd trymmach na gwrthwynebiad; os byddai i rai o'r pethau hynny nad oeddynt gyfreithlon eu hedrych gael eu gweled ganddynt, a arferodd ymbiliau a bygythion; ac weithiau wrthwynebiad ei hun i'w herbyn, gogyfer a'u hattal hwynt. Efe hefyd a waharddodd barhau 'y galanasdra a wnaethid yn y ddinas: ac a ofynnodd amryw weithiau i Sosius, a fyddai i'r Rhufeiniaid wagbau neu arlloes y ddinas o arian ac o ddynion hefyd, a'i adael ef yn frenin ar ddiffeithwch? Dywedodd hefyd, nad oedd efe yn cyfrif llywodraethiad yr holl fyd cyfanneddol yn ddigon o foddlonrwydd am laddiad cynnifer o'i ddinasyddion. A phan ddywedodd Sosius, fod y difrod hwn yn gyfiawn i gael ei ganiattau i'r milwyr, am feithder y cynllwyn a oddefasent; yntau a attebodd, y rhoddai efe i bob un ei wobr allan o'i arian ei hun. Ac efe a rannodd roddion ardderchog i bob milwr; ac anrhegion uwchraddol i'w blaenoriaid; ond a wnaeth anrheg dra brenhinol i Sosius ei hun: nes iddynt oll fyned ymaith yn llwythog o arian.

Y † dinystr hwn a oddiweddodd ddinas Jerusalem, pan oedd Marcus Agrippa, a

* Antigone yw enw merch.

† Nodweh yma, fod Josephus yn gyflawn ac yn fynych yn sierhau i ni, ddarfod uwchlaw tair blynedd fyned heibio rhwng meddiant cyntaf Herod o'r deyrnas yn Rhufain; a'i ail feddiant o honi ar oresgyniad Jerusalem, a marwolaeth Antigonus. Yr hanes presennol o'r cyfrwng hwn a grybwylla ddwywaith am fynediad y fyddin i auaf-leoedd; yr hyn ysgatfydd a berthynai i ddau wahanol auaf, pen. 15. Ac er na ddywed Josephus ddim am hyd yr amserau y gorweddent yn y lleoedd hynny; etto y mae efe yn rhoddi'r fath gyfrif o hir oediad Ventidius, Silo, a Macheras, y rhai oeddynt i weled Herod wedi ei sefydlu yn ei deyrnas newydd; ond a ymddangosent nad oedd ganddynt ddigon o gryfdwr i hynny: ac yn sier a lygrasid oll gan Antigonus, i wneud yr oediad mwyaf ag oedd bossibl: ac sydd yn rhoddi i ni y fath hanes neillduol o amrywiol weithredoedd mawrion Herod yn yr un cyfrwng, ag sy'n arwyddo yn deg y cyfrwng hwnnw, cyn i Herod fyned i Samosata, ei fod nid ychydig o amser. Pa fodd bynnag, yr hyn sy'n eisiau yn Josephus a roddir yn gyflawn i ni gan Moses Chorenensis, yr hanesydd Armeniaidd, yn ei hanes o'r unrhyw gyfrwng, II. 18, 19, 50. Lle y mae efe yn gymmwys yn sierhau i ni, ddarfod i Tigranes, pan ydoedd frenin Armenia, a threfnwr rhyfel y Parthiaid, deyrnasu ddwy flynedd yn ol gwneuthur Herod yn frenin yn Rhufain; ac etto ni chlywsai Antony am ei farwolaeth, yn y gymmydogaeth honno, pan ydoedd yn Samosata, nes ei ddyfod yno i warchae arni. Ar ol pa amser y dygwyd byddin iddo gan Herod, wedi taith o 340 o filldiroedd, trwy wlad ddyrus a llawn o elynion hefyd; ac a ymgyssylltodd ag ef ynghynllwyn Samosata, nes cymmeryd y ddinas honno. Yn ol yr hyn y dychwelodd Herod a Sosius, gyd â byddinoedd lliosoecach, yr un 340 o filltiroedd o ffordd: a phan, ym mhen ychydig amser, eisteddasant i warchae ar Jerusalem, nid oeddynt alluog i'w chymmeryd mewn llai na phum mis: yr hyn oll wedi ei ddodi ynghyd, a gyflawna'r eisiau yn Josephus; ac yn cadarnhau amseryddiaeth yr oesoedd hynny tu hwnt i bob dadl. Ond yna, os ymofynnwn am wir achos yr hir oediad hwn o sefydliad Herod yn ei frenhiniaeth newydd, ar ol ei gyhoeddi yn frenhin yn Rhufain: gallwn gael allan yn hawdd, trwy Josephus ei hun, nad oedd y Rhaglawiaid Rhufeinaidd, Ventidius, Silo, a Macheras, y rhai oeddynt i weled Herod wedi ei sefydlu yn ei deyrnas, ddim yn ymdrechgar ynghylch hynny. Ac nid oedd y fath amcan yn

Caninius Gallus yn brif swyddogion Rhufain; *ar y ganfed a phedwar ugain a phump Olympiad; ar y trydydd mis; ac ar ŵyl yr ympryd; fel pe buasai amser o drallod cylchynol wedi dychwelyd, yn ol hwnnw a oddiweddodd yr Iuddewon yn amser Pompey. Canys yr Iuddewon a gymmerwyd ganddo ef ar yr un dydd; a hyn a fu yn ol saith mlynedd ar hugain o amser. Felly wedi i Sosius gyssegru coron aur i Dduw, efe a gychwynnodd ymaith o Jerusalem; ac a ddygodd Antigonus gyd ag ef mewn rhwymau at Antony. Ond Herod oedd yn ofni rhag i Antigonus gael yn unig ei gadw yngharchar gan Antony; ac mai pan ddygid ef i Rufain ganddo, y gallai gael gwrandawiad i'w achos gan y senedd: a dangos o hono, gan ei fod ei hun o'r gwaed brenhinol, a Herod yn ddyn cyffredin, ei fod yn berthynol, gan hynny, i'w feibion gael y deyrnas, ar gyfrif y teulu o ba un yr oeddynt, os ydoedd ei hun wedi troseddu yn erbyn y Rhufeiniaid trwy'r hyn a wnaethai. Oddi ar ofn Herod o'r peth hwn y bu ddarfod iddo roddi llawer o arian i Antony; gan ymdrechu i'w berswadio i ladd Antigonus: yr hyn wedi unwaith ei wneuthur, a'i rhyddhäi oddiwrth yr ofn hwnnw. Ac fel hyn y bu i lywodraeth yr Asmoneaid ddarfod; ym mhen cant a chwech ar hugain o flynyddau yn ol ei gosodiad i fynu. Y teulu hwn ydoedd un ardderchog a chlodfawr; ar gyfrif boneddigeiddrwydd eu hil, ac uchelradd yr archoffeiriadaeth: megis hefyd am weithredoedd gorchestol eu hynafiaid, y rhai a wnaethant tros ein cenedl. Ond y dynion hyn a gollasant y llywodraeth trwy eu hymrysoniad y naill â'r llall: ac yna a ddaeth i Herod, mab Antipater; yr hwn oedd o deulu isel, ac heb darddiad enwog iddo; ond un ag oedd ddarostyngol i frenhinoedd eraill. A thyma'r peth y mae hanesyddiaeth yn ei ddywedyd am ddiwedd teulu'r Asmoneaid.

---

# LLYFR XV.

*Yn cynnwys yr Amseriad o Ddeunaw Mlynedd.*

## O FARWOLAETH ANTIGONUS, HYD ORPHENIAD Y DEML GAN HEROD.

### PENNOD I.

*Ymherthynas i Pollio, a Sameas; Herod yn lladd y rhai pennaf o gyfeillion Antigonus, ac yn yspeilio'r ddinas o'i thrysorau. Antony yn torri pen Antigonus.*

WEDI adrodd yn barod am ddarostyngiad Jerusalem gan Sosius a Herod; a chymmeryd Antigonus yn garcharor; nyni a awn ym mlaen yn awr yn yr hanesiad. A chan fod llywodraeth holl Judea yn bresennol yn nwylaw Herod, efe a dderchafodd y cyfryw o'r gwŷr neillduol yn y ddinas, ag oedd o'i blaid ef: ond ni adawodd fyth heibio ddial a chospi beunydd y rhai a lynent wrth blaid y gelynion. Ond Pollio y Pharisead, a Sameas, disgybl iddo, a anrhydeddwyd ganddo uwchlaw pawb eraill. Canys pan warchaesid ar Jerusalem, hwy a gyngorasent y dinasyddion i wneud derbyniad o Herod: am ba ryw gyngor fe dalwyd yn dda iddynt. Ond y Pollio † hwn, pan oedd Herod unwaith ar brofiad am ei fywyd neu farwolaeth, a rag-

---

cael ei ddangos mewn prysurdeb, nes iddo fod gyd ag Antony ei hun, yn ei gynnorthwyo i gymmeryd Samosata. Ar ba amser y cafodd blaenor arall, Sosius, ei ddanfon gyd â byddin ddigonol, a chyflawn awdurdod i'w weled wedi ei wneuthur yn effeithiol: ac ar ol pa amser yr ymddengys i'r rhyfel fyned ym mlaen yn ddibaid yn erbyn Antigonus; nes i Jerusalem ag yntau gael eu cymmeryd gan Sosius a Herod; a darfod i Herod gael ei gwbl sefydlu yn nheyrnas Judea.

* Ar y drydedd flwyddyn o'r ganfed a phump a phedwar ugain Olympiad.

† Pa fodd y gallai Josephus ddywedyd, fel y saif yn awr yn ei holl gopiau ond un; mai Pollio yr athraw, ac nid Sameas yr ysgolhaig a ragfynegodd y byddai i Herod ryw bryd ladd Sanhedrim yr Iuddewon, a Hyrcanus; pan ddywedasai i ni yn ddiweddar, yn ei holl gopiau, mai Sameas ydoedd ac nid Pollio, XIV. 9, nid yw yn ymddangos. Etto gan fod un copi yn y lle hwn, yn dywedyd mai Sameas ydoedd; gellir yn dda feddwl mai hwnnw yw'r iawn ddarlleniad. Os amgen rhaid fyddai ei ganiattau megis llithriad pin-ysgrifennu, neu gof Josephus, yr hyn yn awr a phryd arall sy'n digwydd i'r mwyaf gofalus o ysgrifenwyr.

fynegodd mewn ffordd o wawd wrth Hyrcanus a'r barnwyr eraill, y modd y byddai i'r Herod hwnnw ag oeddynt yn goddef iddo yn awr ddiangc, yn ol hynny osod cospedigaeth arnynt hwy oll. Yr hyn a gafodd ei gwblhau mewn amser, pan gyflawnodd Duw yr hyn a ddywedodd.

Herod a chanddo Jerusalem yn awr tan ei awdurdod, a gymmerodd ymaith yr holl addurniadau brenhinol; ac a ysglyfaethodd y gwŷr cyfoethog o'r hyn oedd ganddynt: a phan trwy y moddion yma y pentyrrodd fesur mawr o aur ac arian, efe a'u rhoddodd i Antony, a'i gyfeillion oedd o'i amgylch. Efe hefyd a laddodd bump a deugain o'r gwŷr pennaf o blaid Antigonus; gan osod gwarchawdlu wrth byrth y ddinas, fel na ddygid dim allan gyd â'u cyrph meirwon. Chwiliasant hefyd y rhai a laddwyd; a pha beth bynnag a gaed gyd â hwynt, yn aur, arian, neu drysor arall, fe'i dygid i'r brenin. Ac nid oedd diben ar y gofidiau a ddygodd efe arnynt: a'r achos o'r blinderau, mewn rhan ydoedd oddiwrth gybydd-dra y tywysog teyrnasol; ac mewn rhan oddiwrth y flwyddyn Sabbothol, yr hon oedd etto yn myned ym mlaen, ac yn rhwymo'r wlad yn aullafurus: gan y gwaherddir i ni hau ein tir yn y flwyddyn honno. Wedi i Antony dderbyn Antigonus fel ei gaethwas, efe a fwriadodd ei gadw erbyn rhyw amser o lawenychiad am fuddugoliaeth. Ond pan glywodd fod cenedl yr Iuddewon yn tyfu yn ymbleidgar; ac, oddiar eu casineb i Herod, eu bod yn parhau i ewyllysio yn dda i Antigonus, efe a* ymroddodd i dorri ymaith ei ben yn Antioch: canys heb hynny ni ellid dwyn yr Iuddewon trwy un ffordd i fod yn llonydd. A Strabo o Cappadocia sydd dyst i'r hyn yr wyf yn ei ddywedyd, pan y mae'n llefaru fel hyn; "Antony a orchymmynodd ddwyn Antigonus yr Iuddew i Antioch, ac yno i gael torri ymaith ei ben. A'r Antony hwn a ymddengys yn un cyntaf ag a dorrodd ben brenhinoedd; gan feddwl na's gallai trwy un modd arall blygu meddyliau'r Iuddewon felly, fel y gwnaent dderbyniad o Herod, yr hwn a wnaethai efe yn frenin yn ei le. Canys ni ellid trwy unrhyw boenau a osodid arnynt eu cymmell i'w alw yn frenin: cymmaint oedd yr hoffder oedd ganddynt tu ag at eu brenin o'r blaen. Felly efe a dybiodd y byddai i'r farwolaeth ddirmygus hon leihau y gwerth yr oeddynt yn ei roddi ar goffadwriaeth Antigonus; ac ar yr un pryd a ddiflannai eu casineb at Herod."

## PENNOD II.

*Am ryddhad Hyrcanus gan y Parthiaid; ac am weithredoedd Alexandra, pan glybu fod Ananelus wedi ei wneuthur yn archoffeiriad.*

YN awr, wedi i Herod fod mewn meddiant o'r deyrnas, Hyrcanus yr archoffeiriad, yr hwn oedd y pryd hynny mewn caethiwed ym mysg y Parthiaid, a ddaeth atto drachefn; ac a ryddhawyd o'i gaethiwed yn y modd canlynol. Barzapharnes a Phacorus, blaenoriaid lluoedd y Parthiaid, a gymmerasant Hyrcanus, yr hwn a wnaethpwyd gyntaf yn archoffeiriad, ac wedi hynny yn frenin; a brawd Herod, Phasaelus, yn gaethion, ac a oeddynt yn eu cymmeryd ymaith i Parthia. Phasaelus yn wir ni allai oddef y gwaradwydd o fod mewn rhwymau: a chan feddwl fod marwolaeth, gyd ag anrhydedd yn well nag unrhyw fywyd pa bynnag, efe a ddaeth yn ddihenyddwr iddo ei hun; fel y crybwyllais † o'r blaen.

Ond wedi i Hyrcanus gael ei ddwyn i Parthia, y brenin Phraates a ymddygodd tu ag atto mewn modd tra thyner; megis wedi dysgu gwybod eisoes o ba fath dylwyth anrhydeddus yr oedd efe. Ar ba gyfrif efe a'i rhyddhaodd o'i rwymau; ac a drefnodd iddo breswylfa yn ‡ Babilon, lle'r y bu, ac mae'r ddiweddaf ddinas gys-yltedig Bagdal, yn fynych yn cael ei galw wrth yr un enw hynafol, Babilon, hyd y dydd hwn.

* Ddarfod i Antony roddi'r Antigonus hwn i farwolaeth, a gadarnheir (heblaw tystiolaeth Strabo, a ddygir i mewn i'r testyn yn y lle yma, gan Josephus ei hun;) gan Plutarch a Dio; fel y mae y Deon Aldrich yn gwneuthur sulw ar yr achos hwn, yn ei nodau ar Hanes y Rhyfeloedd, l. 12, a Hudson a Reland ar y lle o'n blaen.

† Gwel Llyfr XIV. pen. 13.

‡ Y ddinas a elwir yma Babilon gan Josephus, a ymddengys ei bod yn un a adeiladwyd gan rai o'r Seleucidæ, ar Tigris; yr hon ym mhen hir amser ar ol llwyr ddinystriad yr hen Babilon a elwid yn gyffredin felly; ac heb fod ym mhell, fel yr wyf yn meddwl, o Seleucia. Yn gymmwys fel y bu, ac mae'r ddiweddaf ddinas gys-yltedig Bagdal, yn fynych yn cael ei galw wrth yr un enw hynafol, Babilon, hyd y dydd hwn. A rheswm eglur a gyferfydd â ni yma ag sy'n dangos nad oedd Josephus yn meddwl amgen na dinas wedi ei hadeiladu ar Tigris, a hyn yma oddiwrth ei ffordd ei hun o lefaru yn ebrwydd; mai nid yr Iuddewon yn y Babilon hon yn unig, ond trosi yr holl wlad, cyn belled ag Euphrates, a dalasant yr anrhydedd hwn i Hyrcanus. Yr hyn yn sicr sy'n arwyddo, nad oedd ei Babilon ef yn gorwedd ar Euphrates, fel yn nyddiau yr ydoedd yr hen Babilon. Gwel Prid, ar y flwyddyn 239 oll.

ydoedd rhifedi mawr o Iuddewon. Y rhai hynny a anrhydeddasant Hyrcanus megis eu harchoffeiriad a'u brenin, fel y darfu hefyd i'r holl genedl Iuddewig yn y parthau hynny, cyn belled ag Euphrates. Y parchedigaeth hwn ydoedd o foddlonrwydd mawr iddo. Ond wedi ei hyspysu ddarfod i Herod feddiannu'r deyrnas, gobeithiau newyddion a dderchafodd ynddo ef; megis wedi ei fod ei hun o'r dechreuad o dymmer garedig tu ag atto ef: a disgwyl i Herod ddwyn i'w gof, pa fath ffafr a ddangosasai iddo, pan ydoedd tan brofiad o flaen y Sanhedrim; ac mewn perygl fod i farn euog gael ei datgan i'w erbyn; ddarfod iddo ef ei waredu o'r perygl hwnnw, ac oddiwrth bob cospedigaeth. Yn ganlynol efe a siaradodd ynghylch y matter hwnnw â'r Iuddewon a ddaethant yn fynych atto, gyd â sirioldeb mawr. Ond hwy a ymdrechasant i'w gadw yn eu mysg, ac a ddymunasant iddo aros gyd â hwynt: gan adgoffa iddo y cymmwynasau a'r anrhydedd a wnaethent iddo: ac nad oedd eu parchedigaeth iddo yn îs ei radd nag a ddangosent i'w harchoffeiriaid neu eu brenhinoedd. A'r hyn oedd yn fwy annogaeth iddo i benderfynu, hwy a ddywedasant ydoedd y peth yma; am na's gallai fwynhau y mawredd hwn yn Judea, o herwydd yr anaf hwnnw ar ei gorph, a osodasid arno gan Antigonus: ac nad yw brenhinoedd yn arferol o dalu i ddynion y cymmwynasau a dderbyniasant pan oeddynt mewn sefyllfa gyffredin, oblegid fod uchder eu dyrchafiad yn peri yn fynych gyfnewidiadau mawr ynddynt.

Yn awr, er gosod o honynt y rhesymmau hyn o'i flaen er ei fawrlles ei hun, etto 'r oedd Hyrcanus yn parhau i ewyllysio ymadael. Herod hefyd a ysgrifennodd atto, gan ei berswadio i ddymuned ar Phraates, a'r Iuddewon, na rwgnachent iddo fwynhau yr awdurdod frenhinol, yr hon a gyd-feddiannai ag ef. Oblegid mai yn awr oedd yr amser cymmwys iddo ef i wneuthur tâl am y ffafr a dderbyniasai ganddo; megis y cawsai ei ddwyn i fynu a'i achub ganddo, yn gystal ag i Hyrcanus ei dderbyn. Ac fel yr ysgrifennodd y modd hwn at Hyrcanus, felly yr anfonodd hefyd Saramalles ei gennadwr, at Phraates, a llawer o anrhegion gyd ag ef; gan ddymuno arno yn y modd mwyaf gostyngedig, na fyddai yn ddim rhwystr i'w ddiolchgarwch tu ag at ei gymmwynaswr. Ond y sêl yma o'r eiddo Herod nid oedd yn tarddu oddiwrth yr egwyddor honno: ond megis yr oedd wedi ei wneud yn llywodraethwr y wlad honno, heb ganddo un hawl gyfreithlon iddi; efe a ofnodd y deuai cyfnewidiad yn ol hynny ar ei sefyllfa: ac felly a wnaeth y brys mwyaf ag a fedrai i gael Hyrcanus i mewn i'w awdurdod; neu yn wir i'w ddodi yn gwbl oddiar y ffordd; yr hyn beth diweddaf a effeithiodd.

Yn ganlynol, wedi i Hyrcanus ddyfod mewn llawn hyder, trwy ganiattad brenin Parthia, ac ar draul yr Iuddewon, y rhai a'i diwallodd ef ag arian; Herod a'i derbyniodd gyd â phob dyledus barch; ac a'i gosododd yn y lle uchaf mewn cyfarfodydd cyhoeddus, ac uwch law pawb eraill mewn gwleddoedd, a thrwy hynny a'i twyllodd ef. Efe a'i galwodd ei dad; ac a ymdrechodd trwy bob ffordd a'r a fedrai, na chai achos o ddrwg-dybiau am ei amcanion bradwriaethus i'w erbyn. Gwnaeth hefyd bethau eraill mewn trefn i sicrhau ei lywodraeth; yr hyn etto a barodd ymryson yn ei deulu ei hun. Canys ag efe yn ochelgar rhag gwneuthur rhyw * ddyn enwog a boneddigaidd yn archoffeiriad Duw, efe a ddanfonodd am ryw offeiriad anhynod o Babilon, enw'r hwn oedd Ananelus; ac a sefydlodd yr archoffeiriadaeth arno ef.

Pa fodd bynnag, Alexandra, merch Hyrcanus, a gwraig Alexander, mab Aristobulus y brenin, yr hon a ymddygasai i Alexander hefyd ddau o blant, ni allai oddef yr ammharch hwn. Yn awr, ei mab ydoedd un o brydferthwch

* Yma y mae genym siampl hynod o [illegible] bydol ac anghyssegrol lywodraethiad Herod; pan, trwy ei anghyfreithlon a'i ryfygus awdurdod, i wneud y neb a fynnai yn archoffeiriad, yn mherson Ananelus, y parodd y fath anghydfod yn ei deyrnas, ac yn ei deulu ei hun, a'r na oddefodd iddo fwynhau dim heddwch parhaus, neu lonyddwch ar ol hynny. A'r cyffelyb yn fynych yw effaith rheolau llysoedd ynghylch matterion crefydd, mewn oesoedd a chenhedlaethau eraill. Yr Hen Destament sydd yn gyflawn o drueni pobl yr Iuddewon, yn tarddu oddiwrth y fath drefniadau llysoedd; yn enwedig yn, ac ar ol dyddiau Jeroboam mab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu; pa un a adawodd y siampl fwyaf truenus o hono; ac a ddygodd o amgylch lygriad mwyaf gwarthus o grefydd trwyddo; a chospedigaeth ei holl deulu o'i herwydd, ydoedd dra hynod. Yr amgylchiad a adnabyddir yn rhy dda i ofyn adroddiad mwy neillduol am dano.

mwyaf, ac a elwid Aristobulus: a'r ferch, Mariamne a briodasai Herod, ac oedd hefyd yn rhagori o ran ei thegwch. Yr Alexandra hon ydoedd yn dra therfysglyd; ac a edrychodd ar y camwri a wnaethid i'w mab yn y modd gwaethaf: mai pan ydoedd yn fyw, yr anfonid am neb arall i'w anrhydeddu â'r archoffeiriadaeth. Yn ganlynol hi a ysgrifennodd at Cleopatra, (cerddores gynnorthwyol iddi i ofalu am anfoniad ei llythyrau ym mlaen;) i ddeisyfu ei herfyniad gyd ag Antony, mewn trefn i ynnill yr archoffeiriadaeth i'w mab.

Ond fel yr oedd Antony yn hwyrfrydig i gydsynio â'r gofyniad hwn, ei gyfaill * Dellius a ddaeth i Judea ar ryw achosion: a phan welodd Aristobulus, efe a safodd i ryfeddu wrth uchder a harddwch y dyn ieuangc; ac nid llai wrth yr olwg ar Mariamne, gwraig y brenin: ac efe ydoedd rydd yn ei gymmeradwyad o Alexandra, fel mam plant o'r fath brydferthwch. A phan ddaeth hi i ymddiddan ag ef, efe a'i perswadiodd i fynnu lluniau pob un o honynt wedi eu tynnu, a'u danfon at Antony: oblegid pan welai hwynt, ni ommeddai ddim iddi a'r a ofynnai. Yn ganlynol, Alexandra a dderchafwyd wrth yr ymadroddion, ac a ddanfonodd y lluniau at Antony. Dellius hefyd a siaradodd yn anghymmedrol; ac a ddywedodd ei fod yn ymddangos na tharddodd y plant hyn oddiwrth ddynion, ond oddiwrth ryw dduw. Ei amcan yn gwneuthur hynny ydoedd i hudo Antony i ymarferiad aflan gyd â hwynt. Yr oedd cywilydd arno i ddanfon am y llangces, am ei bod yn wraig Herod: ac efe a'i gochelodd, oblegid y gwaradwyddiadau a gai efe oddiwrth Cleopatra ar y cyfrif hwnnw: ond efe a ddanfonodd yn y modd harddaf ag a allai, am y dyn ieuangc; ac a chwanegodd hyn gyd â'r cyfan, "Oddi eithr iddo feddwl ei bod yn anhawdd ganddo wneuthur hynny." Pan ddygwyd y llythyr hwn at Herod, ni thybiodd yn ddiogel anfon un mor hardd ag Aristobulus, ym mlodau ei fywyd; (canys yr ydoedd yn un mlwydd ar bymtheg o oedran, o deulu anrhydeddus;) ac yn enwedig at Antony, y gwr pennaf ym mysg y Rhufeiniaid, ac un a'i llygrai yn ei foesau: oblegid ei fod yn ei feithrin ei hun â phob math o bleserau, yn ddiattal. Efe gan hynny a ysgrifennodd yn ol atto, mai "Os deuai'r bachgenyn hwn allan o'r wlad yn unig, y byddai oll mewn cyflwr o derfysg a gwrthryfel; o herwydd fod yr Iuddewon yn gobeithio am gyfnewidiad ar y llywodraeth, a chael brenin arall arnynt."

Wedi i Herod fel hyn esgusodi ei hunan wrth Antony, efe a ymroddodd na chaniattäi yn gwbl i'r dyn ieuangc, na'i fam Alexandra gael triniaeth ddianrhydeddus. Ond ei wraig Mariamne a'i cymmellodd yn daer i adferyd yr archoffeiriadaeth i'w brawd; ac efe a farnodd y byddai er ei fantais ei hun iddo wneuthur felly: oblegid os cai unwaith y dyrchafiad hwnnw, ni allai fyned allan o'r wlad. Felly efe a alwodd ei gyfeillion ynghyd, ac a ddywedodd wrthynt, fod "Alexandra yn ddirgel yn bradwriaethu yn erbyn ei awdurdod frenhinol ef; ac yn ymdrechu trwy'r moddion o Cleopatra i ddwyn y peth felly o amgylch, fel y difeddiannid ef o'r llywodraeth; ac mai trwy'r moddion o Antony y gallai'r dyn ieuangc hwn gael ei osod i drefnu'r achosion cyhoeddus yn ei le ef. A bod ei mynediad hwn ym mlaen yn anghyfiawn; gan y byddai iddi yr un pryd ddifuddio ei merch o'r derchafiad yr oedd yn awr ynddo, ac y parai aflonyddwch trwy'r holl deyrnas: oblegid pa un yr oedd efe wedi cymmeryd llawer o boen, a dyfod i'w meddiannu trwy aneirif beryglon. Ac etto, pan oedd ei gweithredoedd anghyfiawn yn ei gof, ni adawai efe heibio wneuthur yr hyn oedd uniawn ei hun, ond a roddai yn awr i'r dyn ieuangc yr archoffeiriadaeth: a darfod iddo ef o'r blaen osod i fynu Ananelus, o herwydd fod Aristobulus y pryd hynny yn blentyn mor ieuangc." Yn awr, wedi iddo ddywedyd hyn, nid ar antur, ond fel y tybiodd efe gyd â'r callineb mwyaf oedd ganddo, mewn trefn i dwyllo'r gwragedd, a'r cyfeillion hynny a gymmerasai atto i ymgynghori â hwynt. Alexandra, oddiar y llawenydd mawr a deimlasai wrth yr addewid annisgwyliadwy yma, ac oddiar ofn oddiwrth y drwg-dybiau oedd ganddi, a dorrodd allan i lefain a thywallt dagrau, ac a wnaeth yr amddiffyniad canlynol,

* Am y Dellius ddrygionus hwn, gwel y nôd ar Hanes y Rhyf. I. 15.

trosti ei hun, ac a ddywedodd: mai "Ymherthynas i'r archoffeiriadaeth, ei bod tan ofid mawr oblegid y dirmyg yr oedd ei mab tano; ac felly a ymdrechodd hyd y gallai gael y swydd gyssegredig honno iddo: ond ymherthynas i'r deyrnas, ni wnaethai hi un cynnygiad: ac pe cynnygid iddi i'w mab, ni's derbyniai hi. Ac yn awr y byddai hi foddlon ar dderchafiad ei mab, tra fyddai ef (sef Herod) ei hun yn cynnal y llywodraeth wladol; a bod ganddi trwy hynny y diogelwch ag oedd yn tarddu oddiwrth ei gymmwysderau neillduol i lywodraethu, i'r gweddill o'i theulu oll. Ddarfod iddi yn awr gael ei gorchfygu gan haelioni ei roddion; a'i bod yn derbyn yn ddiolchgar yr anrhydedd yma a ddangosid ganddo i'w mab; ac y byddai iddi yn ol hyn ddangos eithaf ufudd-dod: a'i bod yn dymuno iddo ei hesgusodi, os darfu i uchelradd ei thylwyth, a'r rhyddid o weithredu a dybiodd fod hynny yn caniattau iddi, ei chymmell i fod yn fyrbwyll ac yn annioddefus yn yr achos hwn." Felly wedi iddynt lefaru fel hyn y naill wrth y llall, hwy a gymmerasant arnynt ddyfod i gyttundeb: a phob anhyderus feddyliau am eu gilydd a ymddangosasant megis wedi diflannu ymaith.

## PENNOD III.

*Aristobulus yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad, ond yn ol hynny ei lofruddio trwy orchymmyn Herod, yr hwn sydd yn ei esgusodi ei hun wrth Antony. Hefyd ymherthynas i Joseph a Mariamne.*

HEROD yn awr a gymmerodd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Ananelus; yr hwn, fel y dywedasom o'r blaen, nid ydoedd o wlad Judea; ond yn un o'r Iuddewon hynny a ddygasid yn gaethion tu hwnt i Euphrates. Canys yr oedd amryw filoedd o'r bobl hyn y rhai a ddygasid yn gaethion, ag oedd yn trigo o gylch Babilonia, o ba le y daethai Ananelus. Yr oedd efe yn un o hiliogaeth * yr archoffeiriaid, ac a fuasai gynt yn un o gyfeillion neillduol Herod. A phan wnaethpwyd ef gyntaf yn frenin, efe a osodasai y graddau hynny arno ef; ac yn awr a'i dododd allan o hono drachefn; mewn trefn i ddistewi'r aflonyddwch yn ei deulu; er bod yr hyn a wnaeth ef yn gwbl anghyfreithlon. Canys ar un achos o'r blaen ni ddarfu i neb a osodasid yn y swydd dderchafedig honno gael ei ddifuddio o honi. Antiochus Epiphanes oedd y cyntaf a dorrodd y gyfraith honno, ac a ddiswyddodd Jesus; gan wneud ei frawd Onias yn archoffeiriad yn ei le. Aristobulus ydoedd yr ail a wnaeth hynny, gan ei chymmeryd oddiwrth ei frawd Hyrcanus; a'r Herod hwn oedd y trydydd; yr hwn a gymmerodd yr uchel-swydd oddiwrth Ananelus, ac a'i rhoddodd i'r gwr ieuangc hwn, Aristobulus.

Herod a ymddangosodd yn awr megis wedi gwella ymrysonau ei deulu. Etto nid ydoedd heb ei wanffyddio, fel y mae yn fynych yn digwydd gyd â phobl a fo'n ymddangos wedi cymmodi â'u gilydd. Ond fel yr oedd Alexandra eisoes wedi gwneuthur cynnygiadau yn tueddu at newyddiad llywodraeth: felly efe a ofnodd rhag myned o honi ym mlaen, os cyfarfyddai â chyfleusdra fantesiol i hynny. Yn ganlynol, efe a orchymmynodd ar fod iddi aros yn y palas, a pheidio ymdrin ag achosion cyhoeddus y wladwriaeth. Ei gwarchawdlu hefyd oedd mor ofalus na fyddai i ddim a wnelai yn feunyddiol yn ei neillduaeth, gael ei gadw yn guddiedig. Y cyfyngdra hwn yn raddol a'i dododd allan o amynedd, a hi a ddechreuodd gasâu Herod. Canys fel yr oedd balchder gwraig yn ei meddiannu i'r radd eithaf, yr ydoedd yn dra anfoddlon i wyliadwriaeth y gwarchawdlu hyn o amgylch iddi; megis yn dewis yn hytrach myned tan un peth a osodid arni, na chael ei difreintio o ryddid ymadrodd: ac, tan ddychymmygiad o

* Pan ddvwed Josephus ar y lle hwn, yn ei gopiau Groegaidd, fod Ananelus, yr archoffeiriad newydd yma, yn un o hiliogaeth yr archoffeiriaid; dylem gofio nad oes gan y cyfieithiad Lladin yn ei holl gopiau o hono, un sillaf o'r cyfryw ymadrodd. A chan ei fod, yn ei holl gopiau, newydd ddywedyd i ni, mai offeiriad ydoedd o deulu isel-radd, pen. 2, nid yw debygol y gallai mor fuan ddywedyd ei fod o hiliogaeth yr archoffeiriaid. Pa fodd bynnag y mae Josephus yn gwneud sulw neillduol yma, mai yr Ananelus hwn ydoedd y trydydd a drowyd yn anghyfiawn allan o'r archoffeiriadaeth, gan yr awdurdod wladol: heb i un brenin na llywodraethwr, a'r a wyddai Josephus am dano, anturio gwneuthur hynny, ond y gorthrymmwr a'r erlidiwr cenhedlig hwnnw Antiochus Epiphanes,---y barbaraidd a'r tad-leiddiad Aristobulus, y cyntaf a gymmerodd arno yr awdurdod frenhinol ym mysg y Maccabeaid;---a'r gorthrymmwr hwn, Herod Fawr: er yn ol hynny i'r arfer waradwyddus hon ddyfod yn gyffredin, hyd ddinystr Jerusalem: pan ydoedd swydd yr archoffeiriad wedi dibennu.

warcheidwaid anrhydedd, i orfod byw mewn cyflwr o gaethiwed a dychryn. Hi gan hynny a ddanfonodd at Cleopatra, ac a wnaeth hir achwyniad o'r amgylchiadau yr ydoedd ynddynt; ac a erfyniodd arni wneuthur hyd eithaf ei gallu er ei hamddiffyniad. Cleopatra ar hyn a'i cynghorodd i gymmeryd ei mab gyd â hi, a dyfod yn union-gyrch i'r Aipht. Yr annogaeth hon a'i boddlonodd, ac a barodd iddi ddyfeisio ffordd i ymado ymaith. Gorchymmynodd i ddwy o eirch gael eu gwneuthur, fel pe byddai ddau o gyrph meirwon i gael eu dwyn ymaith ynddynt; gan roddi ei hun yn un o honynt, a'i mab yn y llall: ac a roddes orchymmyn i'r cyfryw o'i gwasanaeth-ddynion ag a wybuant am ei bwriadau, i'w cymmeryd ymaith yn y nos. Yn awr, eu ffordd oedd yn myned oddi yno tu a glan y môr, ac yr ydoedd yno long yn barod i'w cymmeryd ymaith i'r Aipht. Yn awr Esop, un o'i gweision, a ddigwyddodd gyfarfod â Sabbion, yr hwn oedd gyfaill iddi; ac a fynegodd am y matter hwn wrtho, gan ei fod yn gwybod am dano o'r blaen. Wedi i Sabbion ddeall am hyn, (yr hwn a fuasai gynt yn elyn i Herod, ac a gyfrifodd yn oreu y rhai a osodasant faglau, ac a roisent wenwyn i'w dad Antipater;) efe a ddisgwyliodd y byddai i'r amlygrwydd hwn gyfnewid casineb Herod i garedigrwydd tu ag atto. Felly efe a fynegodd i'r brenin am y ddyfais hon o'r eiddo Alexandra. Ar yr hyn y goddefodd iddi fyned ym mlaen ynghyflawniad ei dyfais, ac a'i daliodd ar y weithred ei hun. Ond etto efe a esgusododd ei throsedd: ac er bod ganddo ewyllys mawr i'w wneuthur, ni feiddiodd osod un gospedigaeth erwin arni. Canys fe wyddai na oddefai Cleopatra iddi gael ei chyhuddo, ar gyfrif ei chasineb iddo ef: ond efe a ddangosodd ei oddefiad o'r weithred hon, fel pe buasai yn tarddu oddiwrth dynerwch ei enaid; ac mai ei gymmedroldeb mawr a'i cymmellodd i fadden iddi. Pa fodd bynnag, fe'i cyflawn gymmellwyd yn ei feddwl ei hun i ddodi'r gwr ieuangc yma oddiar y ffordd, trwy ryw foddion neu gilydd. Ond fe dybiodd y gallai, ysgatfydd, fod yn fwy cuddiedig, os na wnaed hynny yn ebrwydd wedi 'r peth a ddigwyddodd.

Yn awr, ar agosâd gwyl y pebyll, yr hon sydd ŵyl a gedwir yn barchus gennym ni, efe a adawodd i'r dyddiau hyn fyned trosodd: ac efe, ynghyd ag eraill o'r bobl, oeddynt yn dra llawen. Etto fe barodd yr eiddigedd a gododd ynddo y pryd hwn, brysuro cyflawniad ei amcan. Canys pan aeth y dyn ieuangc hwn Aristobulus, yr hwn oedd yn awr yn yr eilfed flwyddyn ar bymtheg o'i oedran, i fynu at yr allor, yn ol y gyfraith i offrymmu'r aberthau; a hyn gyd ag addurniadau yr archoffeiriadaeth; a phan wrth *gyflawni y swyddau cyssegredig, yr ydoedd ei ddrych yn dra hawddgar, ac yn uwch na dynion yn arferol o'r oedran hwnnw; ac y dangosodd hefyd yn ei wynebpryd lawer o ddelw y teulu ardderchog o ba un yr oedd yn tarddu; sêl a serchogrwydd mawr a ennynodd tu ag atto ym mhlith yr holl bobl, a choffadwriaeth o weithredoedd ei daid Aristobulus oedd yn newydd yn eu meddyliau. A'u tymherau a gawsant y fath feistrolaeth arnynt, fel na allent ymattal rhag dangos eu gogwyddiadau tu ag atto. Hwy ar yr un waith a lawenychasant yn gymmysgedig â'u gilydd; gan ymuno yn eu hewyllys da a'u cyfarchiad iddo; nes i ddymuniadau caredigol y lliaws gael eu gwneud yn rhy amlwg; ac adrodd o honynt am yr happusrwydd a fwynhasent oddiwrth ei deulu yn fwy cyhoedd, nag oedd yn gallineb iddynt tan y bresennol lywodraeth. Gan hynny, wedi i'r ŵyl fyned trosodd, ac yntau yn gwledda yn † Jericho, gyd ag Alexandra, yr hon a'i croesawodd yno; yr ydoedd yn ymddangos yn dra difyr gyd â'r gwr ieuangc; gan ei dynnu gyd ag ef i leoedd unig; ac ar yr un pryd yn cyd-chwareu mewn modd cyfeillgar a gwenieithus ag ef. Yn awr, yr oedd sefyllfa'r lle hwnnw, a natur yr hîn yn wresoc-

* Hyn sydd yn hollol wrth-ddywedyd y Talmudiaid; y rhai, fel y mae Reland yn nodi yma, a gymmerant arnynt ddywedyd na allai neb tan 20 mlwydd o oedran arfer yr archoffeiriadaeth ym mysg yr Iuddewon.

† Cronicl Hebraeg, a goffeir gan Reland, a ddywed, mai yn yr Iorddonen y boddwyd ef, ac nid wrth Jericho, a hynny pan y mae yn crybwyll am Josephus. Yr hwn ddarlleniad o Jericho a gyflawn gadarnheir yn y bennod olaf o'r Hynafiaethau hyn. Fy meddwl yw ddarfod i gopiwr y cronicl Hebraeg gamsyniedyr enw; ac ysgrifennu i lawr Iorddonen yn lle Jericho.

cach nac arferol: felly hwy a gyd-aethant allan yn fyrbwyll, ac mewn dull ynfyd; ac fel yr oeddynt yn sefyll wrth y pysgod-lynnoedd, o ba rai yr oedd amryw o amgylch y tŷ, hwy a aethant i oeri eu hunain trwy ymdrochi yngwres y dydd. Ar y dechreu nid oedd y brenin a'r gwr ieuangc ond edrychwyr ar weision Herod a'i gydnabyddiaeth, fel yr oeddynt yn nofio. Ond ym mhen amser, y dyn ieuangc, wrth gymmelliad Herod, a aeth i'r dwfr yn eu mysghwynt; pan y darfu i'r cyfryw o gydnabod Herod, ag a appwyntiasai wrth nofio, ei suddo ef tan ddwfr, ar dywylliad y nos, fel pe buasai yn unig o oferedd: ac ni pheidiasant a gwneud hynny amrywiol o weithiau, nes darfod ei fygu a'i lwyr foddi gan y dwfr. A'r modd hwn y llofruddiwyd Aristobulus. Wedi byw o hono yn unig ddeunaw mlynedd; a chynnal yr archoffeiriadaeth un flwyddyn. Yr hon archoffeiriadaeth yn awr a adferwyd i Ananelus drachefn.

Pan adroddwyd am y ddamwain alaethus hon, llawenydd y gwragedd yn fuan a drowyd i alar ac wylofain, ar yr olwg o'r corph marw oedd yn gorwedd o'u blaen hwynt; a'u tristwch ydoedd yn anghymmedrol. Dinas Jerusalem hefyd ar daeniad y newydd hwn oedd tan ofid mawr; a phob teulu yn edrych ar y trallod hwn fel pe na buasai berthynol i arall, ond megis un o honynt eu hunain wedi ei ladd. Ond yr oedd gofidiau Alexandra yn ddyfnach, wedi gwybod o honi mai yn wirfoddol y difethwyd ef. Etto yr oedd dan angenrheidrwydd o ymgynnal tano; oddiar ei golwg o fwy drygau a allai yn amgen ganlyn. A hi yn fynych oedd yn cael ei gogwyddo i wneud am dani ei hun. Ond etto hi a ymattaliodd, mewn gobaith o gael byw ddigon o hyd i ddial y llofruddiad dirgelaidd hwn. Iё, hi ymroddodd ymhellach i ymdrechu byw yn hwy; ac i beidio rhoddi achlysur i feddwl ei bod yn tybied ddarfod lladd ei mab yn bwrpasol: ac i ddychymmygu ei bod hi mewn amgylchiad i allu ymddial pan welai gyfleusdra fanteisiol i hynny. Pa fodd bynnag, fe ymdrechodd Herod na chai neb o amgylch le i gredu na pharasid marwolaeth y plentyn trwy unrhyw fwriad o'i eiddo ef: ac i'r pwrpas hwnnw fe ddangosodd nid yn unig arwyddion cyffredin o dristwch, ond hefyd a dywalltodd ddagrau, fel pe buasai mewn cyfyngdra enaid. Ac ysgatfydd i'w dymherau gael eu gorchfygu ar yr achos hwn, pan ganfu wedd y plentyn mor ieuangc ac mor serchog; er meddwl o hono fod ei farwolaeth yn tueddu i'w ddiogelwch ei hun. Cyn belled a hyn yn unig yr oedd ei ofid yn gwasanaethu i wneud amddiffyniad trosto ei hun. Efe hefyd a ofalodd i i wneud angladd anrhydeddus iddo, trwy barottoi beddrod i ddodi ei gorph ynddo, a mesur mawr o ber-lysiau; a chladdu llawer o addurniadau gyd ag ef: nes oedd y gwragedd eu hunain ag oedd mewn dwfn dristwch, yn rhyfeddu ac yn derbyn peth boddlonrwydd trwy'r ymddygiad hwn.

Ni allai ddim o'r pethau hyn, pa fodd bynnag, orchfygu gofidiau Alexandra: ond coffadwriaeth o'r achos truenus hwn a wnaeth ei gofid yn ddwfn ac yn anfeddyginiaethol. Yn ganlynol, hi a 'sgrifennodd hanes yr olygfa fradwriaethus hon at Cleopatra; ac a hyspysodd iddi trwy ba foddion y lladdesid ei mab. Cleopatra, megis yr oedd o'r blaen wedi dangos ei hewyllys i roddi iddi'r boddlonrwydd goreu ag a fedrai; a chan dosturio wrth ddigwyddiadau anhappus Alexandra, a wnaeth ei chyflwr megis yr eiddo ei hun; ac a annogodd Antony i wneud cospedigaeth ar fwrddrad y plentyn. Oblegid ei fod yn beth anweddus i Herod, yr hwn ganddo ef a wnaethid yn frenin ar wlad nad oedd yn perthyn dim iddo, i fod yn euog o'r fath ddrwg-weithred echryslon yn erbyn y rhai oedd o'r gwaed brenhinol. Antony a berswadiwyd gan y rhesymmau hyn: A phan ddaeth i Laodicea,* efe a ddanfonodd; ac a archodd i Herod ddyfod atto i wneud ei amddiffyniad ynherthynas i'r hyn a wnaethai i Aristobulus; oblegid nad oedd y fath amcan bradwriaethus i'w esgusodi os profid ef yn euog o hono. Herod ydoedd yn awr tan ofn oblegid y cyhuddiad, ac o ddrwg-ewyllys Cleopatra tu ag atto; yr hwn oedd y fath ag yr ymdrechodd i beri i Antony ei gasáu ef: Gan hynny efe a benderfynodd ufuddhau i'w orchymmyn; canys nid oedd ganddo un fford

* Bl. 34.

i'w ochelyd. Felly efe a adawodd ei * ewythr Joseph yn oruchwyliwr ei lywodraeth, a'r achosion cyffredin: ac a roddodd orchymmyn neillduol iddo; fel os byddai i Antony ei ladd ef, ar iddo yntau ladd Mariamne yn ebrwydd. O blegid fod ganddo serchiadau tyner tu ag atti hi; ac yr ydoedd yn ofni 'r cam a gynnygid iddo, os, ar ol ei farwolaeth, y byddai iddi, oblegid ei harddwch, gael ei rhwymo â dyn arall. Ond ei arwyddiad o hynny nid ydoedd ddim ond hyn yn y gwaelod; oblegid fod Antony wedi myned mewn serch tu ag atti, er pan glybu o'r blaen y fath ganmoliaeth i'w glendid. Felly wedi i Herod roddi'r arch yma i Joseph, ac heb ganddo obaith sicr o ddiangfa i'w fywyd, efe a aeth ymaith at Antony.

Ond fel yr oedd Joseph yn gweini ymherthynas i achosion cyhoeddus y deyrnas; a'i fod yn dra mynych gyd â Mariamne, fel yr oedd ei achosion yn gofyn, ac oblegid y parch oedd ddyledus arno ei ddangos i'r frenhines; fe gymmerai achlysur yn y cyfamser i ymddiddan â hi am garedigrwydd Herod, a'i serch mawr tu ag atti: a phan fyddai i'r merched, yn enwedig Alexandra, arfer troi ei ganmoliaeth i gabliad o hono; Joseph ydoedd â dymuniad mor fawr ganddo i amlygu tuedd y brenin, fel ag yr aeth mor bell a chrybwyll y gorchymmyn a gawsai ganddo; ac oddiwrth hynny a farnodd fod Herod yn analluog i fyw hebddi hi: ac os deuai i ryw ddrwg ddiben, na allai oddef gwahaniad oddiwrthi, hyd yn oed pan fyddai farw. Y merched, pa fodd bynnag, fel yr ydoedd yn naturiol iddynt, ni chymmerent hyn fel arwydd o serchiadau cryfion Herod, ond o'i ymddygiad sarrug tu ag attynt: na 's gallent hwy ddiangc rhag dinystr, a gorthrymmus farwolaeth, ïe wedi ei farw ei hun. A'r dywediad hwn gan Joseph oedd sail meddyliau celyd y gwragedd tu ag Herod fyth yn ol hynny.

Ynghylch yr amser hwn sôn a aeth o amgylch dinas Jerusalem, ym mysg gelynion Herod, fod Antony wedi arteithio Herod, a'i roddi i farwolaeth. Yr hanes yma, fel yr oedd yn naturiol, a aflonyddodd y rhai o amgylch y palas, ond yn bennaf y gwragedd. Ar hyn Alexandra a ymdrechodd i berswadio Joseph i fyned allan o'r palas, ac i ffoi ymaith gyd â hwynt at flaenoriaid y llengau Rhufeinaidd; y rhai oedd yn gwersyllu y pryd hynny o amgylch y ddinas, fel gwarchawdwyr y ddinas, tan orchymmyn Julius. Oblegid trwy'r moddion hyn, os digwyddai i derfysg gyfodi o amgylch y palas, y byddent hwy mewn lle diogelach, megis â chanddynt y Rhufeiniaid yn ffafrol iddynt: ac heblaw hynny, eu bod yn gobeithio mwynhau yr oruchel awdurdod, pe byddai i Antony ond unwaith gael golwg ar Mariamne; trwy'r modd o ba un y gallent gael adferiad o'r deyrnas; heb fod mewn diffyg o ddim ag oedd resymmol iddynt ei obeithio, o herwydd eu tarddiad brenhinol.

Ond fel yr oeddynt ynghanol y bwriadau hyn, llythyrau a ddygwyd oddiwrth Herod, ynghylch ei holl achosion; ac a brofasent yn wrthwyneb i'r chwedl a glywsent, a'r hyn a ddisgwyliasent o'r blaen. Canys pan ddaeth at Antony, efe yn fuan a adferodd ei gymmeriad gyd ag ef, trwy'r anrhegion a ddygodd iddo o Jerusalem: ac efe a'i denodd ar fyrr i roddi heibio ei ddigter tu ag atto. Felly yr oedd rhesymmau Cleopatra â llai o rym ynddynt na'r dadleuon a'r anrhegion a wnaeth efe i ail-ennill ei ffafr a'i ewyllys da. Canys Antony a ddywedodd, mai nid iawn oedd gofyn cyfrif gan frenin ymherthynas i achosion ei lywodraeth; canys wrth y rheol yma ni fyddai ddim yn frenin oll, ond bod i'r rhai a roisant iddo'r awdurdod honno ganiattau iddo ei hadferyd hi. Efe hefyd a ddywedodd wrth Cleopatra, mai goreu oedd iddi beidio a chyffwrdd â matterion perthynol i lywodraeth y brenin. Herod a ysgrifennodd ar gyfrif y pethau hyn; ac a ymhelaethodd ar anrhydeddau eraill a dderbyniasai gan Antony. Y modd yr eisteddodd wrth ei ochr pan wrandawai achosion gwladwriaethol, ac y cyfrannogodd o ddanteithion ei fwrdd yn feunyddiol; a'i fod ef yn mwynhau y ffafr yma ganddo, er cymmaint o waradwyddiadau a osodasai Cleopatra yn ei erbyn: yr hon â chanddi ddymuniad

* Am y pedwar Joseph a grybwyllir yn yr hanesion hyn, gwel Hanes y Rhyf, Llyfr I. pen. 28.

mawr i'w wlad, a daer geisiodd gan Antony ei rhoddi iddi hi, a'i symmud yntau oddiar y ffordd. Ond ei fod ef fyth yn cael Antony yn ffyddlon iddo, ac ni ddisgwyliai rhagllaw am un driniaeth galed ganddo. A'i fod ef yn fuan i gychwyn allan yn ei ddychweliad, gyd â chadarnach sicrwydd o'i ffafr yn ei deyrnasiad, a'i ymdriniaeth ag achosion cyffredin: ac nid oedd dim gobaith mwy i dymmer gybyddlyd Cleopatra, wedi i Antony roddi Cœlesyria iddi yn lle'r hyn a ddymunodd: trwy ba foddion y darfu iddo ar unwaith ei llonyddu; ac a gafodd lonydd gan yr erfyniau ag oedd yn ei wneuthur atto.

Wedi dyfodiad y llythyrau hyn, gosododd y gwragedd o'r neilldu eu hamcan o ffoi at y Rhufeiniaid, yr hyn a feddyliasent am dano, tra y disgwyliwyd fod Herod wedi ei roddi i farwolaeth. Etto ni chafodd y pwrpas hwnnw o'r eiddynt hwy ei gadw yn ddirgel. Ond wedi i'r brenin fod yn arweinydd i Antony ar ei ffordd yn erbyn y Parthiaid, a'i ddychwelyd i Judea; ei chwaer Salome a'i fam a wnaethant yn hyspys iddo am fwriadau Alexandra. Salome a chwanegodd rywbeth ymhellach yn erbyn Joseph, er nad oedd ychwaneg nag enllib, fod mynych gyfeillach ddirgel rhyngddo â Mariamne. Yr achos iddi ddywedyd hynny ydoedd, ei bod er's hir amser wedi dwyn drwg-ewyllys tu ag atti: canys pan fuasai amrafael rhyngddynt, Mariamne a gymmerasai ryddid mawr, ac a waradwyddodd eraill am iselder eu genedigaeth. Herod, yr hwn oedd bob amser a'i serchiadau yn wresog tu ag at Mariamne, a derfysgwyd yn bresenuol wrth hyn; ac ni allai oddef y gofidiau o eiddigedd; ond er hynny a rwystrwyd rhag gwneuthur un peth yn fyrbwyll, o herwydd y cariad oedd ganddo tu ag atti. Etto ei serch tanbaid a'i eiddigedd ynghyd, a barodd iddo ofyn iddi o'r neilldu ynghylch y matter hwnnw ymherthynas i Joseph. Ond hi a'i gwadodd trwy lw, ac a ddywedodd y cwbl a'r a allai gwragedd diniweid ei ddywedyd i'w hamddiffyn eu hunain: felly o fesur ychydig ac ychydig fe berswadiwyd y brenin i ollwng ymaith ei feddyliau amheus, a gadael o'r neilldu ei anfoddlonrwydd tu ag atti: ac wedi ei orchfygu gan danbeidrwydd ei serch tu ag at ei wraig, efe a ddeisyfodd ei esgusodi ganddi, am ymddangos o hono megis wedi credu yr hyn a glywsai ymherthynas iddi: ac a wnaeth gydnabyddiaeth boddlongar o'i hymddygiad diwair: ac a dystiodd ei serchogrwydd mwyaf tu ag atti. Nes o'r diwedd, fel y mae 'n arferol rhwng rhai a fyddo a chariad mawr i'w gilydd, iddynt syrthio i dywallt dagrau; a chofleidio eu gilydd yn y modd mwyaf caredig. Ond fel yr oedd y brenin drachefn a thrachefn yn rhoddi mwy sicrwydd am ei grediniaeth o'i ffyddlondeb; a chan ymdrechu i ynnill ynddi hithau yr un hyder tu ag atto ef, Mariamne a ddywedodd, "Etto a ydoedd y gorchymmyn hwnnw a roddaist, mai os digwyddai ryw niweid i ti oddiwrth Antony, myfi, yr hon ni fuaswn un achos o hono, oeddwn i gael fy nifetha gyd â thi, yn arwydd o'th gariad tu ag attaf?" Pan darddodd y geiriau hyn oddiwrthi, y brenin a frawychodd wrthynt; ac yn ebrwydd a adawodd iddi ymadael o'i freichiau, ac a lefodd allan, gan dynnu ei wallt â'i ddwylaw ei hun, a dywedyd, gael o hono dystiolaeth amlwg yn awr o gyfeillach feius rhwng Joseph â'i wraig: oblegid na fuasai fyth yn adrodd yr hyn a ddywedasai wrtho ar ei ben ei hun, oddieithr bod rhyw agosrwydd mawr, a hyderusrwydd o'u gilydd rhyngddynt. Ac fel yr ydoedd yn y dymmer nawswyllt hon, bu yn debyg o ladd ei wraig: ond wedi ei orchfygu yn ol hynny gan ei serch tu ag atti, efe a attaliodd ei nwydau; etto nid heb ofid parhaus, ac aflonyddwch meddwl. Pa fodd bynnag, efe a orchymmynodd ladd Joseph, heb ganiattau iddo ddyfod i'w olwg. Ac ymherthynas i Alexandra, efe a'i dododd tan rwymau a chyfyng gadwriaeth, fel achos o'r drygau hyn.

## PENNOD IV.

*Am drachwant a chreulondeb Cleopatra; ei dyfodiad i Judea, a'r parchedigaeth a dderbyniodd gan Herod.*

AR yr amser hwn achosion gwlad Syria oeddynt mewn annhrefn, trwy berswadiad

Cleopatra yn barhaus i Antony wneuthur cynnygiad ar lywodraethau pawb yn gyffredinol; a chymmeryd eu llywodraethau hynny oddiar eu hamryw dywysogion, a'u cyfrannu iddi hi. Ac yr oedd ganddi effaith mawr arno ef, o herwydd ei gaethiwo iddi gan ei serchiadau. Yr oedd hi hefyd o naturiaeth yn dra chybyddlyd, ac heb arswyd cyflawni un math o ddrygioni. Yr oedd eisoes wedi gwenwyno ei brawd, am y gwyddai mai efe oedd i fod yn frenin yr Aipht: a hyn pan oedd yn unig yn bymtheng mlwydd o oedran. A hi a fu'n achos i'w chwaer Arsinoe gael ei lladd* trwy Antony; pan ydoedd yn ymbil yn nheml Diana, yn Ephesus. Oblegid os byddai peth gobaith o gael arian, hi a dreisiai demlau a beddrodau hefyd. Ac nid oedd un lle cyssegrol a gyfrifid yn fwyaf dihalog, na ymofynnai am yr addurniadau a fyddai ynddo: nac unrhyw le mor anghyssegrol, na fyddai i ddioddef y driniaeth fwyaf ysgeler ag oedd bossibl ganddi, os na allai gyfrannu rhyw beth tu ag at foddhau ei thymmer gybyddlyd. Etto nid oedd hyn i gyd yn ddigonol i foddhau dynes mor afradlon, ag oedd yn gaethwraig i'w chwantau: ond yr oedd fyth yn dychymmygu ei bod mewn eisiau o bob peth a feddyliai am dano; ac a wnai ei goren hefyd i'w gael. Ar gyfrif y rheswm hwn yr oedd ei bod yn gwthio Antony ym mlaen yn wastadol, i ddifeddiannu eraill o'u barglwyddiaethau, a'u traddodi iddi hi. Ac fel yr oedd yn myned tros Syria gyd ag ef, hi ddyfeisiodd ei chael i'w meddiant. Felly efe a laddodd † Lysanias, mab Ptolemy, trwy ei gyhuddo o ddwyn y Parthiaid i mewn i'r gwledydd hynny. Hi hefyd a ddeisyfodd gan Antony roddi iddi Judea ac Arabia; ac mewn trefn i hynny, dymunodd arno gymmeryd y gwledydd hyn oddiwrth eu llywodraethwyr presennol. Am Antony, yr oedd wedi ei orchfygu mor bell gan y fenyw hon, fel y meddyliai un mai nid ei hymadroddion yn unig a allai ei wneuthur; ond fel yr oedd efe, ryw ffordd, yn cael ei hudo i wneuthur pa beth bynnag a fynnai. Etto yr oedd y rhannau mwyaf erchyll o'i hanghyfiawnderau yn peri iddo gywilyddio cymmaint, fel na wrandawai arni bob amser, i wneuthur y pethau ysgeler ag y mynnai hi ei berswadio i'w cyflawni. Gan hynny, fel na ommeddai hi yn hollol; trwy wneuthur pob peth a geisiai, yr ymddangosai yn ddyn beius; efe a gymmerodd ryw rannau o bob un o'r gwledydd hynny oddiwrth eu tywysogion o'r blaen, ac a'u rhoddodd iddi hi. Fel hyn y rhoddodd iddi y dinasoedd ag ydoedd ynghylch yr afon Eleutheres, cyn belled a'r Aipht, oddigerth Tyre a Sidon; y rhai a wyddai eu bod yn ddinasoedd rhyddion er amser eu hynafiaid: er iddi wasgu yn fynych arno am roi meddiant iddi o'r rhai hynny hefyd.

Wedi i Cleopatra feddiannu cymmaint a hyn, a dilyn Antony yn ei ymgyrch i Armenia, cyn belled ag Euphrates; hi ddychwelodd yn ol, ac a ddaeth i Apania a Damascus, ac a aeth ym mlaen i Judea. Yno Herod a'i cyfarfu, ac a gyttunodd â hi am ryw rannau o Arabia, a'r deyrnged oedd yn dyfod iddi oddiwrth yr ardal o amgylch Jericho. Y wlad honno sy'n dwyn y balsam, yr hwn yw'r defnydd meddyginiaethol mwyaf gwerthfawr, ag sy'n tyfu yno yn unig. Yn y lle hwn hefyd y mae'n tyfu amlder o balmwydd tra rhagorol. Pan ydoedd hi yno, ac yn dra mynych gyd â Herod, hi gynnygiodd ei dynnu i gyfeillach anghyfreithlon. Pa fodd bynnag, hi ymddangosodd megis wedi ei gorchfygu gan serch i Herod. Yn awr, nid oedd Herod er's hir amser yn dwyn ewyllys da tu ag at Cleopatra, gan wybod mai un boenus ydoedd i bawb; ac ar y pryd hwnnw fe'i cyfrifodd yn neillduol haeddu ei gasineb, os oedd y cynnygiad hwn yn tarddu o chwant nwyfus: efe a feddyliasai hefyd rag-

* Y lladdiad yma o Arsinoe gan Marc Antony, pan ffoisai am ddiogelwch i'r noddfa hon, sef teml Diana, a gadarnheir gan Appian V. t. d. 676. Yn unig efe a ddywed, mai yn ei theml hi yn Miletus; ac medd Josephus yma yn ei theml yn Ephesus. Pa un ydoedd wir ni's gellir, fel y meddyliaf yn awr, ei benderfynu.

† Y Lysanias hwn ydoedd fab Ptolemy Menneus, ac ydoedd frenin Chalcus ac Iturca; ac o bossibl yr un person ag a grybwyllir gan Strabo, XVI. t. d. 756. Ddarfod ei ladd, a gadarnheir gan Dio XLIX. t. d. 411, fel y mae'r Deon Aldrich yn sylwi. Yr hwn hefyd sy'n chwanegu, am laddiad Malichus ynghylch yr un amser, yr hwn a gyssyllta Josephus â'r hanes yma am Lysanias, yn ei Hanes am y Rhyf. I. 22, nad yw yn cael ei grybwyll gan Dio, neu yn Hynafiaethau Josephus ei hun, nac un awdwr arall. Felly y mae'n dra thebygol i Josephus ei esgeuluso yma yn wirfoddol, megis wedi canfod ei gamsyniad blaenorol yn ei gylch.

flaenu ei hamcanion dichellddrwg trwy ei rhoddi i farwolaeth, os y fath ydoedd ei hymgais. Pa fodd bynnag efe a ballodd gydsynied â'i chynnygion, ac a alwodd ynghyd ei gyfeillion i ymgynghori â hwynt, pa un a laddai efe hi, tra'r ydoedd yn awr tan ei awdurdod? Oblegid y byddai iddo wrth hynny waredu pawb oddiwrth liaws o ddrygau i ba rai yr ydoedd eisoes yn boenus, ac a ddisgwylid ei bod felly rhagllaw yn yr amser a ddeuai: ac y byddai i hyn fod er mantais i Antony ei hun: gan na byddai hi yn sicr yn ffyddlon iddo, pe digwyddai ddyfod y fath achos arno, a'i fod yn sefyll tan angenrheidrwydd o'i ffyddlondeb. Ond wedi meddwl dilyn y cyngor hwn, ei gyfeillion a ddywedasant wrtho nad ydoedd iawn iddo gynnyg peth mor fawr, a rhedeg ei hun trwy hynny i'r perygl mwyaf. A hwy a attolygasant iddo na wnai ddim yn fyrbwyll: oblegid na fyddai i Antony byth ei ddioddef, er i neb rhyw un geisio gosod o'i flaen mai i'w fantais ei hun yr ydoedd. Ac y byddai'r ymddangosiad o'i ymddifadu ef o'i chymdeithas trwy y weithred fradychus hon, ysgatfydd yn foddion i wneud ei serchiadau yn fwy tanllyd nac o'r blaen. Ac nid oedd yn ymddangos y gallai efe gael un peth o bwys i'w amddiffyn ei hun; gan fod yr ymosodiad yma yn erbyn y fath un ag oedd uwch o fawredd ac awdurdod na neb arall o'i rhywogaeth y pryd hynny yn y byd. Ac ymherthynas i unrhyw fantais a ellid ei ddisgwyl oddiwrth y fath weithred, os gellid ddychymmygu y cyfryw un yn yr achos yma, fe ymddangosai yn haeddu condemniad ar gyfrif y trahausdra a fyddai raid fod ganddo yn ei chyflawni. Yr ystyriaethau hyn a'i gwnaeth yn dra amlwg, mai wrth wneuthur hynny y profai ei lywodraeth wedi ei llenwi â blinderau, a'r rhai hynny yn fawrion ac yn barhaus, yn gystal iddo ei hun a'i hiliogaeth ar ei ol: pan ydoedd etto yn ei allu ymwrthod â'r drygioni a fynnai hi ei berswadio iddo; ac ymadael yn anrhydeddus oddiwrthi yr un pryd. Felly trwy arddangos y modd hwn i Herod, y perygl a fyddai iddo, gyd â phob tebygolrwydd, autuio'r weithred hon, hwy a'i hattaliasant rhagddi. Gan hynny, efe a ymddygodd yn fwynaidd at Cleopatra, gan roddi anrhegion iddi, a'i danfon yn ei ffordd adref i'r Aipht.

Ond Antony a ddarostyngodd Armenia, ac a ddanfonodd Artabazes, mab Tigranes, mewn rhwymau, ynghyd â'i blant, a'i oruchwylwyr i'r Aipht; gan wneuthur anrheg o honynt, ac o'r holl addurniadau brenhinol a gymmerasai o'r deyrnas honno, i Cleopatra. Ac Artaxias, yr hynaf o'i feibion, yr hwn a ddiangasai yr amser hwnnw, a gymmerodd arno deyrnas Armenia. Efe yn wir a fwriwyd allan gan Archelaus, a Nero Cæsar; pan adferasant Tigranes ei frawd ieuangaf i'r dernas hon: ond hyn a ddigwyddodd encyd o amser yn ol hynny.

Ond am y deyrnged ag oedd Herod i'w dalu i Cleopatra, am y wlad a roddasai Antony iddi, efe a wnaeth yn deg â hi, gan ei gyfrif yn anniofalwch iddo roddi unrhyw achlysur i Cleopatra ei gasâu ef. Ymherthynas i frenin Arabia, teyrnged pa un a gymmerasai Herod arno ei dalu iddi; tros amser yn wir efe a dalodd iddo gymmaint ag a ddaeth i ddau cant o dalentau. Ond efe yn ol hynny a fu dra hwyrfrydig yn ei daliadau; ac ni ellid ond yn anhawdd ei gael, i dalu rhannau o hono: ac nid ydoedd ewyllysgar i wneud y taliadau hynny heb dynnu yn ol o honynt.

## PENNOD V.

*Herod yn gwneud rhyfel â brenin Arabia, ac ar ol amryw frwydrau, yn ei ddarostwng ef; ac a ddewisir gan yr Arabiaid i lywodraethu y genedl honno. Hefyd ymherthynas i Ddaeargryn.*

AR hyn Herod a barottodd ei hun i fyned yn erbyn brenin Arabia, o herwydd ei anufudddod; ac oblegid, ar ol y cwbl, ni wnai ddim o'r hyn oedd ddyledus arno: er bod Herod yn gwneud y rhyfel Rhufeinig yn achos o oedi'r eiddo ei hun. Canys y frwydr yn Actium yn awr a ddisgwylid; yr hon a ddigwyddodd yn yr ail flwyddyn o'r canfed a phedwar ugain a saith Olympiad: lle yr oedd Cæsar ac Antony i ymladd am ben-llywodraethiad y byd. Ond Herod wedi meddiannu gwlad ag oedd yn dra

ffrwythlon, a hynny yn awr er 's hir amser; ac wedi derbyn trethi mawrion, a chodi byddinoedd lliosog â hwynt, a gafodd ynghyd gorph o ddynion, ac a'u diwallodd yn ofalus â phob angenrheidiau, gan eu bwriadu fel cynnorthwyadon i Antony. Ond Antony a ddywedodd, nad oedd mewn eisiau o'i gynnorthwy. Ond efe a orchymmynodd iddo gospi brenin Arabia: canys efe a glywsai ganddo ef a Cleopatra mor dwyllodrus ydoedd. Canys Cleopatra a dybiodd y byddai er ei hunan fantais, fod i'r ddau frenin yma ddrygu eu gilydd gymmaint ag oedd bossibl. Ar ddyfodiad y neges uchod oddiwrth Antony, Herod a ddychwelodd yn ol; ond a gadwodd ei fyddin gyd ag ef mewn trefn i oresgyn Arabia. Felly pan oedd ei fyddin o wŷr meirch a gwŷr traed yn barod, efe a gychwynnodd i Diospolis. Yno yr Arabiaid hefyd a ddaethant i'w gyfarfod: canys nid oeddynt yn annisgwyliadwy o'r rhyfel hwn oedd yn dyfod arnynt. Ac yn ol i frwydr fawr gael ei hymladd, yr Iuddewon a gawsant y fuddugoliaeth. Ond yn ol hynny cafwyd byddin liosog arall ynghyd o Arabiaid yn Cana, Cœlesyria. Herod a wnaed yn hyspys o hyn ym mlaen llaw: felly efe a ddaeth i'w herbyn â'r rhan fwyaf o'i fyddinoedd. Ac wedi ei ddyfod yn agos i Cana, efe a ymroddodd i wersyllu, ac i gyfodi gwrthglawdd, fel y gallai gael amser cyfaddas i ymosod ar y gelyn. Ond fel y rhoddodd iddynt y gorchymmynion hyn, lliaws yr Iuddewon a waeddasant allan na oedai i'w tywys yn erbyn yr Arabiaid. Ar yr achos hwn yr oeddynt mewn ysprydau uchel, gan hyderu fod trefn dda arnynt: a'r rhai hynny yn enwedig oeddynt felly, a fuasent yn y frwydr o'r blaen yn fuddugoliaethwyr; ac na adawsent i'r gelynion gymmaint a dyfod i ymladdiad agos â hwynt. A phan oeddynt mor gyffrous, ac yn dangos cymmaint o fywiogrwydd, y brenin a ymroddodd i wneud defnydd o'r sêl yr oedd y lliaws y pryd hynny yn ei ddangos: ac wedi sicrhau na byddai efe yn ol llaw i neb o honynt mewn calondid, efe a'u harweiniodd, ac a safodd o'u blaen yn ei arfogaeth; a'r holl luoedd yn eu hamrywiol drefniadau yn ei ddilyn ef. Wrth weled hyn, dychryn a syrthiodd ar yr Arabiaid: canys pan ganfuant na chymmerai yr Iuddewon eu gorchfygu, a'u bod yn llawn o ysprydoedd i ymladd; y rhan fwyaf o honynt a redasant ymaith, ac a ochelasant ymladd. A hwynt-hwy a ddifethasid yn gwbl, pe na buasai i Athenio syrthio ar yr Iuddewon, a'u colledu hwynt. Y gwr hwn ydoedd gad-flaenor byddin Cleopatra, ac oedd mewn gelyniaeth at Herod; ac yn edrychwr tra dyfal ar y frwydr hon, i weled pa beth a fyddai ei chanlyniad. Efe hefyd a ymroisai, os byddai i'r Arabiaid fod yn wrol, a chael llwyddiant, yr arhosai efe yn llonydd; ond os curid hwynt, megis yn wir y digwyddodd, efe a ymosodai ar yr Iuddewon â'r lluoedd oedd ganddo o'i eiddo ei hun, a'r rhai a gawsai y wlad ynghyd iddo ef. Felly efe a gwympodd ar yr Iuddewon yn annisgwyliadwy, a hwy yn lluddedig, ac yn meddwl eu bod eisoes wedi gorchfygu eu gelynion, a gwneud lladdfa fawr o honynt. Canys â'r Iuddewon wedi treulio eu cefnogrwydd ar eu gelynion adnabyddus, ac ynghylch myned i fwynhau gorphwysfa iddynt eu hunain ar ol eu buddugoliaeth; hwy a gurwyd yn hawdd gan y rhai hyn a'u goddiweddodd o newydd; ac yn enwedig a gawsant golledion mawr yn y man na allai y meirch fod o un gwasanaeth, oblegid ei fod yn garregog; a'r lleoedd ag oedd y rhai a'u gwrthwynebasant yn fwy adnabyddus o honynt na hwynt-hwy. Ac wedi i'r Iuddewon oddef y golled hon, yr Arabiaid a adnewyddasant eu cryfdwr ar ol yr oruchafiaeth hon; a chan ddychwelyd yn eu hol drachefn, hwy a laddasant y rhai a ffoisent eisoes ymaith. Ac yn wir pob math o laddiadau ydoedd yn awr yn gyffredin: ac o'r rhai a ddiangasent, ychydig yn unig a ddychwelasant i'r gwersyll. Felly y brenin Herod wedi anobeithio am y frwydr, a farchogodd i fynu attynt, i ddyfod a chynnorthwy iddynt. Etto ni ddaeth yn ddigon prydlon i fod o un gwasanaeth iddynt; er iddo ymdrechu yn galed i wneuthur hynny: ond y gwersyll Iuddewaidd a gymmerwyd. Felly yr Arabiaid yn annisgwyliadwy a gawsant lwyddiant gorfoleddus: wedi ynnill y fuddugoliaeth, yr hon o honynt eu hunain nid oeddynt mewn un modd

yn debyg o'i chael; a lladd y rhan fwyaf o fyddin y gelyn. Oddiwrth ba achos yn ol hynny ni allodd Herod weithredu ond megis yspeilydd neillduol, a gwneuthur rhuthriadau i amrywiol barthau Arabia, a'u colledu trwy ymosodiadau dirgelaidd; tra'r oedd yn gwersyllu ym mhlith y mynyddau; ac yn gochelyd trwy bob moddion ddyfod i frwydr gyhoeddus. Etto efe a aflonyddodd y gelyn yn fawr trwy ei astudrwydd, a'r llafur blin a gymmerodd yn yr achos yma. Efe hefyd a gymmerodd ofal mawr tros ei filwyr ei hun: ac arferodd bob moddion a allai i adferyd ei achosion i'w cyflwr o'r blaen.

Ar yr amser hwn y digwyddodd yr ymladdfa rhwng Octavius Cæsar ac Antony; yn y * seithfed flwyddyn o deyrnasiad y brenin Herod. Ac yna y bu hefyd ddaear-gryn fawr yn Judea; y fath na ddigwyddasai un amser arall: a'r hon ddaear-gryn a ddygodd ddinystr mawr ar yr anifeiliaid yn y wlad honno. Ynghylch deng † mil o ddynion hefyd a ddifethwyd trwy gwymp tai arnynt. Ond y fyddin ag oedd yn llettya ar y maes ni chafodd ddim niweid oddiwrth y ddamwain hon. Pan glywodd yr Arabiaid am hyn, ac wedi i'r rhai a gashaent yr Iuddewon, ac a foddient eu hunain ag estyniad ar yr hanes, ei fynegi iddynt; hwy a ddyrchafasant eu hysprydoedd, fel pe buasai gwlad eu gelynion wedi ei hollol ddadymchwelyd, a'r dynion wedi eu llwyr ddifetha: gan feddwl nad oedd yn awr ddim a allai eu gwrthwynebu. Yn ganlynol, hwy a gymmerasant y cennadwyr Iuddewig a ddaethai attynt, yn ol i hyn oll ddigwydd, i ymheddychu â hwynt, ac a'u lladdasant; ac a ddaethant gyd â chalondid mawr yn erbyn eu byddin. Ond yr Iuddewon ni allent eu gwrthsefyll; ac a oeddynt wedi eu taflu i lawr mor bell trwy'r trallodion a ddaethai arnynt, fel na ofalent am eu hachosion; ond a roisant eu hunain i fynu i anobaith. Canys nid oedd gobaith ganddynt ddyfod yn gydradd â hwynt drachefn mewn brwydr, ac na dderbynient ddim cynnorthwy o unman arall; tra'r oedd eu hamgylchiadau cartrefol mor aflwyddiannus. Pan ydoedd pethau yn yr amgylchiad hwn, y brenin a berswadiodd ei flaenoriaid trwy ei ymadroddion; gan ymdrechu i godi eu hysprydoedd oedd wedi suddo yn gwbl. Ac yn gyntaf efe a ymdrechodd i gefnogi a pheri hyfdra yn y goreuon ym mlaenllaw; ac yna efe a anturiodd areithio wrth y lliaws, yr hyn a beidiasai ei wneuthur o'r blaen, rhag eu cael yn anesmwyth oblegid yr anhap a ddigwyddasai. Felly efe a wnaeth araith gyssurus wrth y lliaws yn y modd canlynol:---

"Nid ydych heb wybod, fy nghyd-filwyr, ein bod yn ddiweddar wedi cyfarfod â llawer o ddamweiniau, ag sydd wedi rhoi attalfa ar yr hyn yr oeddym yn ei gylch: ac mae'n debygol fod, hyd yn oed y rhai a wahaniaethid fwyaf o ran eu gwrolder, yn anhawdd iddynt gynnal i fynu eu hysprydoedd, yn y cyfryw amgylchiadau. Ond pan na's gallwn ochelyd ymladd; ac nad oes dim a ddigwyddodd o'r fath natur, na all trwoch eich hunain gael ei adferyd i gyflwr dymunol, a hyn trwy un frwydr wedi ei chyflawni yn y modd goreu. Fe'm cymmellwyd gennyf fy hun i roddi i chwi beth annogaeth; ac ar yr un pryd, rhyw fesur o hyspysrwydd; pa ryw rannau o'm hamcan a dueddant at y peth hwn, sef, i beri i chwi barhau yn eich gwroldeb priod. Bydd i mi gan hynny yn y lle cyntaf egluro i chwi, fod y rhyfel hwn yn un cyfiawn o'n hochr ni; ac mai ar y cyfrif hwn y mae yn rhyfel o angenrheidrwydd; a'r achos o hono oddiwrth anghyfiawnder ein gelynion. Canys ond eich boddloni unwaith yn hyn, gall fod yn achos o siriolder i chwi. Ar ol hyn dangosaf ymhellach nad yw'r aflwyddiant a gawsom yn ddiweddar o ryw ganlyniad mawr; a bod gennym etto y rheswm goreu i obeithio am fuddugoliaeth. Dechreuaf ar y cyntaf, ac a appeliaf attoch eich hunain fel tystion o'r hyn a ddywedwyf. Nid ydych heb wybod am

* Y darllenydd sydd i ddal sulw yma, am y 7fed flwyddyn hon o deyrnasiad Herod, a holl flynyddau eraill ei deyrnasiad yn Josephus, a gyfrifir oddiwrth amser marwolaeth Antigonus; neu o'r hyn gyntaf, o orchfygiad Antigonus, a chymmeriad Jerusalem ychydig fisoedd o'r blaen; ac nid un amser oddiwrth ei wneuthuriad cyntaf yn frenin yn Rhufain, uwchlaw tair blynedd o'r blaen; megis ag y gwnaethpwyd gan rai. Gwelwch weddill yr amseriadau hyn, XV. 9, 10, a'r 11, a'r XIV. 1.

† Neu ddeng mil ar hugain.

annuwioldeb yr Arabiaid, yr hyn sydd i'r fath raddau ac i ymddangos yn anghredadwy gan bob dynion eraill; ac yn cynnwys rhyw beth sy'n arwyddo y barbariaeth a'r anwybodaeth mwyaf o Dduw. Y pethau pennaf trwy ba rai y digiasant ni, ydoedd yn tarddu oddiwrth gybydd-dra a chynfigen: a hwy a'n goddiweddasant ni mewn modd dichellgar a byrbwyll. A pha ryw achos sydd i mi grybwyll am lawer o'r fath siamplau o'u mynediad ym mlaen. Pan oeddynt mewn perygl o golli eu llywodraeth eu hunain, a bod yn gaeth weision i Cleopatra; pwy eraill oeddynt hwy a'u rhyddhaodd oddiwrth yr ofn hwnnw? Canys y cyweithasrwydd oedd rhyngof fi ag Antony, a'r dymmer hynaws yr ydoedd efe ynddi tu ag attom ni, a fu yr achos na lwyr ddadwnaethid yr Arabiaid hyn; gan fod Antony yn anewyllysgar i gymmeryd dim arno, ag a barai amheuaeth am ei garedigrwydd i ni. Ond pan oedd ewyllys ganddo i drefnu rhyw gyfran o'n llywodraethau oll i Cleopatra; myfi hefyd a driniais y matter hwnnw felly, fel trwy wneud anrhegion fy hun iddo, y meddiannwn ddiogelwch i bob cenedl; tra y cymmerais arnaf fy hun i fod yn attebol am yr arian; gan roddi iddo ddau cant o dalentau, a myned yn feichiau am y ddau gant eraill a osodasid ar y wlad oedd ddarostyngedig i'r deyrnged hon. A hyn a gymmerasant oddiwrthym; er ei fod yn rhesymmol na fyddai ar Iuddewon dalu teyrnged i neb, neu oddef trethiad ar un rhan o'u tir. Ac er i hynny ddigwydd cael ei wneuthur, etto ni ddylem dalu teyrnged tros yr Arabiaid hyn, y rhai a gadwasom ni. Ac nid yw gymmwys iddynt hwy, y rhai a gydnabuasant, trwy ystyriaeth o'n caredigrwydd, mai trwy'r moddion o honom ni yr achubwyd eu tywysogaeth, ein drygu a'n difuddio o'r hyn sydd ddyledus i ni: a hynny tra'r oeddym yn parhau yn ffyddlon iddynt. Ac pan y mae sulw o gyfammodau yn cymmeryd lle rhwng gelynion chwerwaf, ond ym mysg cyd-gymdeithaswyr ydynt lwyr angenrheidiol; hyn ni wneir sulw o hono gan y dynion yma; y rhai a gyfrifant elw yn oreu o bob peth, trwy ba fodd bynnag y delo: y rhai ni olygant anghyfiawnder yn ddim niweid, os gallant gael arian trwyddo. A ydyw yn gwestiwn gan hynny gyd â chwi, pa un a ddylid cospi'r anghyfiawn, ai ni ddylid? pan y mae Duw ei hun wedi amlygu i ni mai felly y dylai fod; a gorchymmyn i ni ffieiddio camwedd ac anghyfiawnder. Nid yw hyn yn unig yn gyfiawn, ond yn angenrheidiol mewn rhyfel rhwng amryw genhedlaethau. Canys yr Arabiaid a wnaethant yr hyn y mae'r Groegiaid a'r Barbariaid yn ei addef yn siampl o'r drygioni gwaethaf, ymherthynas i'n cennadwyr, y rhai y torrasant eu pennau. Pan y mae'r Groegiaid yn addef fod y fath gennadwyr yn * gyssegrol ac yn ddidrais. Ac am danom ein hunain, nyni a ddysgasom gan Dduw y rhagoraf o'n hathrawiaethau, a'r rhan fwyaf cyssegredig o'n cyfraith trwy angylion, neu gennadwyr. Canys yr enw yma a ddug wybodaeth am Dduw i ddynion; ag sydd a chymmwysder ganddo i gymmodi gelynion â'u gilydd. Pa ddrygioni gan hynny a all fod yn fwy na lladd cennadon, ag sy'n dyfod i drin achosion perthynol i wneuthur daioni. Ac wedi i'r cyfryw weithredoedd gael eu cyflawni ganddynt, pa fodd y mae'n bossibl iddynt fyw yn ddiofal mewn buchedd gyffredin, neu fod yn llwyddiannus mewn rhyfel? Yn fy meddwl i, y mae hyn yn ammhossibl. Ond ysgatfydd y dichon rhai ddywedyd, fod yr hyn sydd sanctaidd ac yn gyfiawn yn wir o'n hochr ni: ond bod yr Arabiaid un ai yn gefnoccach, neu liosoccach na ni. Yn awr ymherthynas i hyn yn y lle cyntaf, nid yw weddus i ni ddywedyd felly: canys y rhai sydd a chyd â hwynt yr hyn sydd gyfiawn, gyd â'r cyfryw y mae Duw ei hun. Yn awr, lle mae Duw, y mae yno amldra a chefnogrwydd. Ond i brofi ein hamgylchiadau ein hunain ychydig: buom fuddugoliaethwyr yn y frwydr gyntaf; a phan ymladdasom drachefn, nid oeddynt alluog i'n gwrthsefyll, ond a ffoisant ymaith; ac ni allent oddef ein hymosodiad arnynt na'n cefnogrwydd. Ond wedi eu gorchfygu hwynt, yna y daeth Athenion

* Herod a ddywed yma, fel ag yr oedd cennadwyr yn anhalogadwy, pan fyddent yn dwyn cennadwri at eraill; felly yr oedd cyfreithiau'r Iuddewon yn dwyn gyd â hwynt awdurdod gyssegredig, trwy eu bod wedi eu traddodi oddiwrth Dduw gan angylion, neu ddwyfol gennadon, yn ol ymadrodd St. Paul, ynghylch yr un cyfreithiau, Gal. iii. 19. Heb. ii. 2.

i wneud rhyfel i'n herbyn heb ei gyhoeddi. Ac, attolwg, a ydoedd hyn yn ddangosiad o wrolder? neu onid yw yn ail siampl o'u bradwriaeth a'u drygioni? Paham yr ydym gan hynny yn llai ein celnogrwydd ar gyfrif yr hyn a ddylai ein meddiannu â gobaith cadarnach? A phaham yr ydym yn brawychu wrth y rhai hyn, y rhai pan fyddont yn gydwastad â ni a gnrir yn barhaus: a phan ymddangosont hwy yn orchfygwyr, y maent felly trwy anghyfiawnder? Ac os meddyliwn fod neb yn eu cyfrif hwynt yn ddynion o iawn gefnogrwydd; oni annogir ef â'r ystyriaeth honno i wneud a allo i'w herbyn? Canys ni ddangosir gwir wrolder wrth ymladd yn erbyn gweiniaid, ond trwy fod yn alluog i orchfygu y rhai mwyaf dewr a medrus. Ond yna, os yw'r cyfyngderau yr ydym ein hunain tanynt, a'r trallodion a ddaeth arnom trwy'r ddaear-gryn, wedi dychrynu neb; ystyried yn y lle cyntaf, y bydd i'r peth yma dwyllo'r Arabiaid; trwy gyfrif o honynt fod yr hyn a ddaeth arnom yn fwy mewn gwirionedd nag ydyw. Ymhellach, nid yw iawn i ni ddigaloni wrth yr hyn a bair iddynt hwy ymhyfhau. Canys y dynion hyn, chwi welwch, nid ydynt yn derbyn eu hyder oddiwrth un rinwedd fanteisiol o'r eiddynt eu hunain; ond oddiwrth eu gobaith am danom ni, ein bod wedi ein llwyr fwrw i lawr gan ein trallodau a'n cystuddiau. Ond pan elom ni gyd â hyfdra yn eu herbyn, nyni a dynnwn i lawr yn fuan drahausdra eu hunan-ddychymmygion; ac a ennillwn hyn trwy ymosodiad arnynt, fel na falchïant gymmaint pan y delom i frwydr â hwynt. Canys nid yw ein cyfyngderau mor fawr; ac nid yw yr hyn a ddigwyddodd yn arwydd o ddigofaint Duw i'n herbyn, fel y tybia rhai. Canys y cyfryw bethau ydynt ddamweiniol, a chystuddiau a ddigwyddant yn ol trefn rhagluniaeth. Ac os caniattâwn i hyn gael ei wneuthur trwy ewyllys Duw, rhaid i ni addef fyned o hono heibio hefyd trwy ei ewyllys ef; a boddloni o hono ar yr hyn eisoes a ddigwyddodd. O herwydd pe buasai yn ewyllysio ein cystuddio etto ymhellach, ni chyfnewidiasai ei feddwl mor fuan. Ac ymherthynas i'r rhyfel yr ydym yn rhwym ynddo, efe a amlygodd ei hun ei fod yn ewyllysgar iddo fyned ym mlaen, a gwybod o hono ei fod yn rhyfel cyfiawn. Canys wedi i rai pobl yn y wlad ddarfod am danynt, chwychwi oll y rhai oeddych tan arfau ni ddioddefasoch ddim niweid, ond a'ch cadwyd i gyd yn fyw. Oddiwrth yr hyn y mae Duw yn ei wneud yn amlwg i ni, pe buasech yn gyffredinol, gyd â'ch gwragedd a'ch plant, yn y fyddin; y daethai o amgylch na chawsech fyned tan unrhyw beth a wnaethai niweid mawr i chwi. Ystyriwch y pethau hyn, a'r peth sydd fwy na'r cwbl, fod gennych Dduw bob amser yn amddiffynwr i chwi; ac ewch rhagoch i erlid y bobl hyn gyd â hyder cyfiawn, y rhai mewn cydgyweithasrwydd ydynt anghyfiawn; yn eu hymladdfeydd yn dwyllodrus; tu ag at gennadwyr yn fradwrus; a phob amser islaw i chwi mewn gwrolder."

Wedi i'r Iuddewon wrando'r araith hon, eu meddyliau a adfywiwyd, ac a dueddwyd i ymladd yn fwy nag o'r blaen. Felly Herod wedi * offrymmu'r aberthau appwyntiedig gan y gyfraith, a wnaeth frys, gan eu cymmeryd a'u tywys yn erbyn yr Arabiaid: ac mewn trefn i hynny a aeth tros yr Iorddonen, ac a wersyllodd yn gyfagos i'r gelynion. Efe hefyd a dybiodd yn gymmwys ymosod ar ryw gastell, ag oedd yn sefyll yn eu canol hwynt, gan ddisgwyl y byddai er mantais iddynt, ac a barai y frwydr yn gynt: ac os byddai achos i oedi, ei wersyll a amddiffynid ganddo. Ac fel yr oedd gan yr Arabiaid yr un bwriadau am y lle hwnnw, ymryson a gyfododd yn ei gylch. Ar y cyntaf nid oeddynt ond ymladdfeydd bychain; ond ar ol hynny daeth ynghyd ychwaneg o filwyr,† ac a dyfodd

* Y darn yma o grefydd, sef ymbil â Duw trwy aberthu, gan Herod, cyn ei fyned i ymladd â'r Arabiaid; ac a wneir sulw o hono hefyd yn llyfr cyntaf y rhyfeloedd, pen. 19, sydd yn werth craffu arno: o herwydd mai 'r unig siampl o'r natur yma ydyw, cyn belled ag yr wyf yn cofio, i Josephus ei grybwyll yn ei holl hanes o Herod. A hynny ydoedd wedi ei bod yn gyfyng arno, a'i ddigalonni trwy ddifethiad ei fyddin o'r blaen, a thrwy ddaear-gryn mawr yn Judea: y cyfryw amser o drallodion ag sy'n gwneuthur dynion yn dra chrefyddol. Ac ni siommwyd mo'no am ei obaith yma; ond yn union-gyrch a gafodd fuddugoliaeth hynod ar yr Arabiaid. Pan ddarfu iddynt hwy, y rhai a fuasent yn ddiweddar y fath orchfygwyr, ac yn ymdderchafu oblegid y ddaear-gryn yn Judea, fod mor rhyfygus ag anturio lladd y cennadwyr Iuddewig; ond yn awr a oeddynt tan y fath ddychrynfeydd, fel y methasant yn brin ag ymladd oll.

† Gwel Am y Rhyfeloedd, Llyfr 1. pen. 20.

yn fath o frwydr; a rhai a gwympasant bob ochr: nes i'r rhai o du'r Arabiaid gael eu coro, a chilio o honynt ymaith. Nid ydoedd hyn ychydig o galondid i'r Iuddewon: a phan ddaliodd Herod sulw fod byddin y gelyn yn dueddol i unrhyw beth yn hytrach nag ymladd; efe a anturiodd yn hyf i wneud ymosodiad ar y gwrthglawdd ei hun, a'i dynnu yn ddrylliau; ac felly i fyned yn nes at y gwersyll, mewn trefn i ymladd â hwynt. Canys pan yrrwyd hwynt allan o'u ceuffosydd, hwy aethant i annhrefn, ac nid oedd ynddynt y bywiogrwydd lleiaf, neu obaith am fuddugoliaeth. Etto hwy a ymladdasant law-law, o herwydd yr oeddynt yn fwy lliosog na'r Iuddewon: ac oblegid eu bod yn y fath amgylchiad ymherthynes i'r rhyfel, ag yr oeddynt tan angenrheidawydd o ddyfod yn fywiog i'r frwydr. Felly hwy a ddaethant i ymladdiad erchyll, pan oedd nid ychydig yn syrthio bob tu. Pa fodd bynnag, o'r diwedd yr Arabiaid a ffoisant; a lladdiad mor fawr a wnaethpwyd wrth eu herlid hwynt, fel ag y lladdwyd hwynt nid yn unig gan eu gelynion, ond a ddaethant yn awdwyr eu marwolaeth eu hunain; trwy eu mathru tan draed gan y lliaws, a thorfeydd o bobl mewn annhrefn; ac hefyd a ddifethwyd gan eu harfogaeth eu hunain. Felly pum mil o wŷr a orweddasant yn feirwon yn y lle; pan y rhedodd gweddill y lliaws gyd â brys i mewn i'w hamddiffynfa am ddiogelwch: ond nid oedd obaith cadarn ganddynt am ddiangfa, oblegid eu diffyg o angenrheidiau, ac yn enwedig dwfr. Yr Iuddewon a erlidiasant ar eu hol, ond ni allent fyned i mewn attynt, ond a eisteddasant o gwmpas yr amddiffynfa, ac a wyliasant am gynnorthwy i fyned i mewn attynt; gan rwystro i neb a ewyllysiai wneuthur hynny i redeg ymaith.

Pan oedd yr Arabiaid yn yr amgylchiadau hyn, hwy a ddanfonasant gennadau at Herod; yn y lle cyntaf i gynnyg ammodau o ymheddychiad; ac ar ol hynny cynnyg iddo, (gan mor fawr oedd y syched arnynt) i drefnu fel yr ewyllysiai, os byddai iddo eu rhyddhau o'u cyfyngder presennol. Ond ni dderbyniai efe neb cennadwyr, ac ni chyttunai am werth adbryniad, na gwneud unrhyw ammodau eraill pa bynnag: gan ei fod yn tra chwennychu dial y gweithredoedd anghyfiawn a fuasent hwy yn euog o honynt tu ag at ei genedl. Felly fe orfu iddynt oddiar annogaethau eraill, ac yn enwedig o herwydd eu syched, ddyfod allan, a thraddodi eu hunain iddo ef i'w dwyn ymaith yn gaethion. Ac ymmhen y pum niwrnod y rhifedi o bedair mil a gymmerwyd yn garcharorion: pan ddarfu y lleill oll ymroi i wneud rhuthr ar eu gelynion, ac ymladd allan â hwynt: gan ddewis yn hytrach, os rhaid a fyddai, i farw wrth hynny, na darfod am danynt yn raddol, ac mewn anghlod. Wedi cymmeryd o honynt yr ymroad hwn, hwy a ddaethant allan o'u ceuffosydd; ond â hwy yn analluog i sefyll mewn ymladdfa, ac wedi eu gwanhau yn eu cyrph a'u meddyliau, ac heb ganddynt le digonol i wneud eu hymegnïau, cyfrifasant yn fwy manteisiol iddynt gael eu lladd, ac yn fwy trueni i fyw yn hwy. Felly ar yr ymosodiad cyntaf fe syrthiodd o honynt uwchlaw saith mil: ar ol pa darawiad, gadawsant i'r holl galondid oedd ganddynt o'r blaen ymadaw ymaith; ac a safasant yn rhyfeddu wrth yspryd milwraïdd Herod, o dan ei drallodion ei hun. Felly, am yr amser i ddyfod, hwy a roisant i fynu, ac a'i gwnaethant ef yn llywodraethwr i'w cenedl. Yntau a ddyrchafwyd yn fawr oblegid ei ddiweddar lwyddiant; gan ddychwelyd adref, a chymmeryd iddo ei hun awdurdod dra ehang ar gyfrif ei ymgyrch hyf a chlodfawr.

## PENNOD VI.

*Herod yn peri i Hyrcanus gael ei roddi i farwolaeth; ac yn cael ei gadarnhau yn ei uchafiaeth ei hun oddiwrth Octavius Cæsar, yr hwn y mae yn ei roesawi mewn dull costfawr.*

ACHOSION eraill Herod ydoedd yn awr yn dra llwyddiannus; ac ni ellid yn hawdd ei ddrygu o un tu. Etto fe ddaeth arno berygl ag oedd yn bygwth llwyr ddadymchweliad ei arglwyddiaethau, yn ol gorchfygu Antony yn y frwydr yn Actium gan Octavius Cæsar. Canys y pryd hwnnw yr oedd gelynion a chyfeillion Herod yn anobeithiol am ei fatterion, fel nad

oedd debygol y gallai aros yn ddigosp, yr hwn a ddangosasai gymmaint o gyfeillgarwch tu ag at Antony. Ei gyfeillion a anobeithiasant, ac nid oeddynt yn disgwyl iddo ddiangc: ond ei elynion, er dangos o honynt yn allanol eu bod yn tristâu wrth ei amgylchiad, yr oeddynt yn ddirgelaidd yn llawenhau o'i herwydd; gan feddwl mwynhau cyfnewidiad er gwell. Am Herod ei hun, fe ganfu nad oedd un o radd frenhinol wedi ei adael ond Hyrcanus: am hynny efe a feddyliodd y byddai er ei fantais i beidio a'i oddef ef i fod yn rhwystr yn ei ffordd ddim hwy. Oblegid os byddai fyw ei hun, ac os diangai rhag y perygl yr oedd ynddo; efe a'i cyfrifodd yn ffordd sicraf i ddodi y tu hwnt i allu y fath un i wneuthur ymosodiad i'w erbyn, ar amser mor beryglus, ag a olygid yn fwy teilwng o'r deyrnas nag ef ei hun: ac os lleddid ef gan Cæsar, ei gynfigen a'i cymmellodd i ddymuned lladd yr hwn a osodid mewn modd amgen yn frenin yn ei le.

Tra'r ydoedd y pethau hyn gan Herod yn ei feddwl, digwyddodd achlysur neillduol iddo i hynny. Canys yr oedd Hyrcanus o dymmer mor nawsaidd, nad oedd oedd yn ewyllysio ymdrin ag achosion cyffredin, na blino ei hun ynghylch trefniadau newyddion: ond a adawodd y cyfan i ragluniaeth, ac a foddlonodd ei hun â'r hyn a dderbyniai trwy hynny. Ond Alexandra ei ferch oedd yn hoffi ymryson; ac ydoedd yn mawr chwennychu cyfnewidiad yn y llywodraeth: ac a ddywedodd wrth ei thad am beidio goddef triniaethau niweidiol i'w teulu gan Herod; ond i rag-achub gobeithion yr amser i ddyfod, fel y gallai yn ddiogel wneuthur: ac a ddymunodd arno ysgrifennu ynghylch y matterion hyn at Malchus, yr hwn oedd y pryd hynny yn llywodraethwr Arabia, am eu derbyn hwynt, a'u diogelu rhag Herod: canys os elent hwy ymaith, a digwydd o achosion Herod yn ol yr hyn oeddynt yn tebygu trwy'r achlysur o elyniaeth Cæsar tu ag atto; yna y byddent hwy yr unig bersonau a allai gymmeryd arnynt y llywodraeth: a hynny oblegid y brenhinol deulu yr oeddynt yn tarddu o hono; ac o herwydd tuedd dda y lliaws tu ag attynt. Tra'r oedd hi yn arferyd y perswadiad hwn, Hyrcanus a ddododd heibio ei hymgais. Ond fel y dangosodd hi mai gwraig ydoedd, ac un gynhennus hefyd; ac ni fynnai roddi i fynu ei thaerni ddydd na nos; ond a fyddai yn wastad yn llefaru wrtho am hyn, ac am fradwriaethau Herod; hi o'r diwedd a'i perswadiodd i ymddiried i Dositheus, un o'i gyfeillion, gyd â llythyr, ym mha un yr amlygodd ei feddyliau: gan ddymuned ar y llywodraethwr Arabaidd i ddanfon iddo rai gwŷr meirch, y rhai a'i derbyniai ef, ac a'i cymmerai at y llyn Asphaltites, yr hwn sydd dri chant o 'stadau oddiwrth derfynau Jerusalem. Ac efe gan hynny a ymddiriedodd i Dositheus am gyflëad y llythyr hwn, o herwydd ei fod yn warchawdwr gofalus arno ef, ac ar Alexandra: ac nid oedd achos bychan ganddo i ddwyn drwg-ewyllys at Herod. Canys yr ydoedd efe yn gâr i un Joseph a laddasai Herod; a brawd i'r rhai a laddesid gynt yn Tyre gan Antony. Etto ni allai'r annogaethau hyn gymmell Dositheus i wasanaethu Hyrcanus yn ffyddlon ar yr achos yma: ond gan gofleidio'r gobeithion oedd ganddo oddiwrth y presennol frenin, yn hytrach na'r hyn a ddeuai oddiwrth Hyrcanus, efe a ddygodd y llythyr at Herod. Felly efe a gymmerodd hyn yn garedigrwydd ganddo; gan ei annog i fyned rhagddo yn ei siwrnai tros Hyrcanus, wedi plygu a selio i fynu'r epistol drachefn, i'w draddodi i Malchus: ac yna i ddwyn yn ol ei lythyr ef mewn attebiad iddo: oblegid y byddai yn llawer gwell wedi iddo wybod meddyliau Malchus hefyd. A phan oedd Dositheus yn dra pharod i'w wasanaethu yn hyn hefyd; y llywodraethwr Arabaidd a ddychwelodd attebiad yn ol, y gwnai dderbyniad o Hyrcanus, a phawb a ddeuai gyd ag ef, ac hefyd yr holl Iuddewon ydoedd o'i blaid: ac y danfonai hefyd ddigonedd o luoedd i'w diogelu yn eu taith; ac na chai fod arno eisiau dim a fyddai yn ei ewyllysio. Yn awr, cyn gynted ag y derbyniodd Herod y llythyr hwn, efe a ddanfonodd yn ddiattreg am Hyrcanus, ac a'i holodd ymherthynas i'r cyngrair a wnaethai â Malchus; ac wedi iddo ei wadu, efe a ddangosodd ei lythyr i'r

Sanhedrim, ac a roddodd y dyn yn union-gyrch i farwolaeth.

Yr hanes yma a ydym yn ei roddi i'r darllenydd, fel y mae'n 'sgrifenedig yn eglurhadau y brenin Herod. Ond hanesion eraill ni chyttunasant â hwynt: eithr hwy a ddywedant am Herod na chafodd, ond yn hytrach a wnaeth hyn yma yn achlysur i'w roddi i farwolaeth: a hynny trwy osod yn fradwriaethus fagl iddo. Canys hwy a ysgrifennant fod Herod ag yntau unwaith yn gwledda; ac na roisai Herod un arwydd ei fod yn ddig wrtho; ond iddo roddi y cwestiwn hwn at Hyrcanus, Pa un a ydoedd wedi derbyn llythyrau, neu nad oedd, oddiwrth Malchus? A phan attebodd ddarfod iddo dderbyn llythyrau, ond eu bod yn rhai o gyfarchiad yn unig. A phan ofynnodd ymhellach, a dderbyniasai efe ddim anrhegion oddiwrtho? ac iddo yntau atteb, na dderbyniasai yn rhagor na phedwar march i farchogaeth arnynt, y rhai a ddanfonasai Malchus iddo. Herod a osododd y pethau hyn yn ei erbyn fel gwobrwyon beius a theyrnfradwriaeth; ac a roddodd orchymmyn am ei gymmeryd ymaith, a'i ladd. Ac mewn trefn i ddangos na fuasai efe yn euog o un trosedd pan ddygwyd ef fel hyn i'w ddiwedd, dywedant am dynerwch ei dymmer; ac na ddangosasai, hyd yn oed yn ei ieuengctyd, un arwydd o hyfder a byrbwylldra; a bod ei ymddygiad yr un pan wnaethpwyd ef yn frenin: ond darfod iddo y pryd hynny adael trefniad y rhan fwyaf o achosion y deyrnas i Antipater. A'i fod yn awr yngbylch pedwar ugain mlwydd o oedran, ac yn anadnabyddus o fod llywodraeth Herod yn awr mewn amgylchiad diogel. Efe hefyd a ddaethai tros Euphrates, gan adael y rhai oedd yn ei anrhydeddu yn fawr y tu hwnt i'r afon honno, er gwybod y byddai rhagllaw yn hollol tan awdurdod Herod: a'i fod yn beth tra anghredadwy iddo ef wneud un cynnygiad tu ag at adnewyddu'r llywodraeth, ac yn llwyr anghyttunol â'i dymmer ef: ond mai bradwriaeth o ddyfais Herod ei hun ydoedd.

A hyn a fu tynghedfen Hyrcanus, yn ol iddo oddef amryw gyfnewidiadau yn amser ei fywyd. Canys efe a wnaethid yn archoffeiriad y genedl Iuddewig yn nechreu teyrnasiad ei fam Alexandra, yr hon a feddiannodd y llywodraeth tros naw mlynedd. Ac wedi marwolaeth ei fam, efe a gymmerodd y llywodraeth ei hunan tros dri mis; yna y collodd hi o achos ei frawd Aristobulus. Ar ol hynny yr adferwyd ef gan Pompey, gyd â phob rhyw anrhydedd oddiwrtho ef, ac a'i mwynhaodd tros ddeugain mlynedd. Ond wedi ei ddifuddio drachefn gan Antigonus, a chael anaf yn ei gorph, efe a gaethiwyd gan y Parthiaid; ac yna a ddychwelodd adref drachefn ym mhen amser, ar gyfrif yr addewidion a roisai Herod iddo: o ba rai ni chyflawnwyd nemmor iddo yn ol ei ddisgwyliad; ond efe a drallodwyd ag amryw ddrygau trwy holl ystod ei fywyd: ac, yr hyn oedd drymmach na'r cwbl, fel y crybwyllasom, efe a ddaeth i ddiwedd anhaeddiannol iddo. Dull ei fywyd ydoedd yr un hynny o ddyn tyner a chymmedrol; ac yn goddef i lywodraethiad ei achosion yn gyffredin i gael eu cyflawni gan eraill tano ef. Yr oedd efe yn wrthwynebol i ymdriniaeth ag achosion gwladol, ac heb gallineb digonol ganddo i reoli teyrnas. Ac Antipater a Herod a ddaethant bob un i'w mawredd ar gyfrif ei oddefgarwch ef: ac o'r diwedd efe a gyfarfu â'r fath ddiwedd oddi wrthynt, a'r nad oedd gyttûn â chrefydd na chyfiawnder.

Yn awr Herod, mor gynted ag y dodwyd Hyrcanus oddiar y ffordd, a frysiodd at Cæsar; ac o herwydd na's gallai ddisgwyl am unrhyw ymddygiad caredig oddiwrtho ef, o herwydd ei gyfeillgarwch ag Antony, yr oedd yn drwgdybio am Alexandra, rhag iddi gymmeryd y cyfleusdra presennol i ddwyn y lliaws i wrthryfel, a pheri ymryson yn llywodraethiad y deyrnas. Felly efe a orchymmynodd ofal pob peth i'w frawd Pheroras; ac a osododd ei fam Cypros, a'i chwaer Salome, â'r holl deulu yn Massada: ac a roddes orchymmyn arno, os clywai efe ryw newyddion trist am dano, ar iddo fod yn ofalus ymherthynas i'r llywodraeth. Ond am Mariamne, ei wraig, o herwydd yr annrafael oedd rhyngddi â'i chwaer, ac â'i mam hi, yr hyn oedd yn ei wneud yn anmhossibl iddynt gyd fyw; efe a'i gosododd hi yn Alexandrium,

gyd ag Alexandra ei mam; gan adael ei drysorwr, Joseph, a Sohemus o Iturea, i gymmeryd gofal yr amddiffynfa honno. Y ddau yma a fuasent dra ffyddlon iddo o'r dechreuad; ac a adawyd yn awr yn warcheidwaid ar y gwragedd. Yr oedd ganddynt hefyd mewn gorchymmyn, os clywent am ddim niweid wedi digwydd iddo, ar iddynt eu lladd hwy ill dwyoedd: ac, cyn belled ag y gallent, ddiogelu y deyrnas i'w feibion, ac i'w frawd Pheroras.

Wedi rhoddi iddynt y gorchymmyn hwn, efe a aeth ymaith i Rhodes i gyfarfod â Cæsar: ac wedi mordwyo o hono i'r ddinas honno, efe a dynnodd ymaith ei goron-bleth: ond ni ddiosgodd ddim arall o'i frenhinol wisgoedd. Ac wedi cydgyfarfod, dymunodd gael cennad i siarad ag ef; gan ddangos wrth hynny siampl o ysbryd mawr ac ardderchog. Canys ni ymroddodd ei hun i ymbiliau, fel y mae'n arferol i ddynion wneuthur ar y fath achos; ac ni osododd o'i flaen un deisyfiad fel troseddwr: ond mewn modd ëofn a osododd ger ei fron hanes yr hyn oll a wnaethai. Addefodd hefyd ei gymdeithasrwydd mwyaf ag Antony; ac a wnaeth yr hyn a allasai iddo feddiannu'r llywodraeth. Na buasai efe yn wir yn y fyddin gyd ag ef; o herwydd i'r Arabiaid ei dynnu oddiwrth hynny; ond danfon o hono ŷd ac arian iddo; yr hyn nid oedd ond rhy fychan mewn cymhariaeth i'r hyn a ddylasai wneuthur trosto. "Canys," eb efe, "os addef dyn ei hunan yn gyfaill i arall, trwy wybod am ei gymmwynasau iddo, y mae'n rhwym i anturio pob peth; i ddefnyddio holl gynneddfau ei enaid, ac aelodau ei gorph, a'i holl drysorau er ei fwyn; yn yr hyn yr wyf yn cyfaddef i mi fod yn rhy ddiffygiol. Pa fodd bynnag, yr wyf yn gydwybodol im' fy hun, ymddwyn o honof yn gywir mor bell a hyn, na chiliais oddiwrtho wedi ei oresgyniad yn Actium; nac ar gyfnewidiad amlwg ei amgylchiad, ni symmudais fy ngobaith oddiwrtho ef at arall: ond a gedwais fy hun, er nad yn gyd-filwr o'r un werth, etto yn sicr megis annogaethwr ffyddlon i Antony; pan yr amlygais iddo mai yr unig ffordd i achub ei hun, a pheidio colli ei holl awdurdod, ydoedd i ladd Cleopatra; canys wedi unwaith ei marw hi, byddai lle iddo ef ddefnyddio ei awdurdod; ac yn hytrach dy ddwyn di i gydweithredu ag ef, nag i barhau mewn gelyniaeth mwyach. Efe, pa fodd bynnag, ni wrandawai ar fy nghyngor, ond a ddewisodd ei amcanion byrbwyll ei hun, yr hyn a ddigwyddodd yn anfuddiol iddo, ond o fuddioldeb i ti. Yn awr gan hynny, os penderfyni am danaf fi, a'm hastudrwydd yn gwasanaethu Antony, yn ol mesur dy anfoddlonrwydd tu ag atto ef, yr wyf yn addef nad oes le i mi wadu yr hyn a wnaethum; ac ni fydd cywilydd arnaf gyfaddef, ïe yn gyhoeddus hefyd, fod gennyf barchedigaeth mawr iddo ef. Ond os gosodi ef o'r neilldu yn yr achos yma, a phrofi o honot yn unig y modd yr ymddygais i tu ag at fy nghymmwynaswyr yn gyffredin, a pha fath gyfaill ydwyf; ti gei trwy brofiad weled y gwnaf, ac y byddaf yr un i tithau dy hun. Canys nid yw amgen na chyfnewid enwau: a chaderoid y gyfeillach a geiff fod rhyngwyf a thi, ni fydd anghymmeradwy gennyt."

Trwy yr araith hon, ac wrth ei ymddygiad, yr hyn a arwyddodd i Cæsar anffuantrwydd ei feddwl, fe'i hynnillwyd yn fawr, yr hwn ydoedd ei hun o dymmer haelionus a mawrfrydig: yn gymmaint ag i'r gweithredoedd hynny ag ydoedd sail o gyhuddiadau yn ei erbyn, ynnill iddo ewyllys da Cæsar. Yn ganlynol efe a adferodd iddo ei goron-bleth; gan ei annog i ddangos ei hun yn gymmaint cyfaill iddo ef ag i Antony; ac yna y gwnaeth gyfrif mawr o hono. Efe a chwanegodd hefyd, fod Quintus Didius wedi ysgrifennu atto ef, fod Herod wedi ei gynnorthwyo yn dra ewyllysgar yn matterion y cleddyfwyr. Felly wedi iddo gael y fath dderbyniad croesawus; a chael, tu hwnt i bob disgwyliad, ei goron wedi ei sicrhau yn gadarnach iddo nag erioed, trwy ganiattad Cæsar, yn gystal ag wrth orchymmyn y Rhufeiniaid, a roddwyd er chwanegu ei ddiogelwch; yn ol hynny aeth yn arweinydd i Cæsar yn ei ffordd tu a'r Aipht; ac a wnaeth anrhegion uwchlaw ei allu iddo ef a'i gyfeillion; ac yn gyffredin a ymddygodd ei hun gyd â'r mawrfrydigrwydd mwyaf. Efe hefyd a wnaeth ei ddeisyfiad at Cæsar tros un Alexander,

yr hwn a fuasai gydymaith i Antony, na roddai ef i farwolaeth; ond Cæsar a dyngasai ar ei farwolaeth ef; felly ni chaniattawyd y deisyfiad hwnnw iddo. Ac yn awr efe a ddychwelodd i Judea drachefn, gyd â mwy anrhydedd a diogelwch nag erioed; ac a ddychrynodd y rhai oedd a disgwyliadau i'r gwrthwyneb: megis yn derbyn o hyd oddiwrth ei beryglon fwy goruchafiaeth nag o'r blaen, trwy ffafr Duw tu ag atto. Felly efe a wnaeth barottöad i dderbyn Cæsar, ar ei ddyfodiad allan o Syria i orddiwes yr Aipht: a phan ddaeth, efe a'i croesawodd yn Ptolemais gyd â phob mawredd brenhinol. Efe hefyd a gyfrannodd anrhegion i'r fyddin, ac a ddygodd iddynt ymborth yn ddigonol. Efe hefyd a dyfodd yn un o gyfeillion rhagoraf Cæsar; gan drefnu'r fyddin, a marchogaeth ym mlaen gyd ag ef: ac yr oedd ganddo gant a deg a deugain o wŷr, yn barod ym mhob ystyr, mewn modd helaethlawn, i'w dderbyn ef a'i gyfeillion. Efe hefyd a arlwyodd yr hyn a fyddent mewn eisiau o hono, yn eu ffordd trwy'r diffeithwch sychgras; yn gymmaint nad oedd diffyg arnynt am win na dwfr; o'r hwn ddiweddaf beth y buasai'r milwyr mewn mawr eisiau. Ac heblaw hyn efe a anrhegodd Cæsar ag wyth gant o dalentau, ac a ennillodd iddo ei hun eu hewyllys da oll; o herwydd ei fod yn gynnorthwyol iddynt mewn mwy a godidoccach graddau nag a allai y deyrnas a dderbyniasai efe ganiattau. Trwy'r moddion hyn efe a ddangosodd fwy-fwy i Cæsar gadernid ei gyfeillgarwch, a'i barodrwydd i'w gynnorthwyo ef. A'r hyn oedd fwyaf o fantais iddo ef ydoedd, ddarfod i'w haelioni ddigwydd iddo mewn amser prydlon hefyd. A phan ddychwelasant drachefn o'r Aipht, ni fu ei gynnorthwyon mewn un wedd o îs radd na'r hyn a weiniasai efe o'r blaen.

## PENNOD VII.

*Am ddihenyddiad Sohemus, a Mariamne; Alexandra, a Costobarus; cyfeillion agosaf Herod; a meibion Baba.*

PA fodd bynnag, pan ddaeth Herod i'w deyrnas drachefn, efe a gafodd ei deulu oll mewn annhrefn; a'i wraig Mariamne, ynghyd â'i mam Alexandra, mewn mawr anesmwythder: canys hwy yn naturiol a feddyliasant na roddasid hwy yn yr amddiffynfa honno (Alexandrium) er diogelwch eu personau; ond megis mewn gwersyllfa fel carcharion; ac nad oedd ganddynt awdurdod ar unrhyw beth ag a berthynai i eraill, neu iddynt eu hunain. A Mariamne yn dychymmygu fod serch y brenin tu ag atti yn hytrach yn ffugiol, ac er mantais iddo ei hun, nag yn wirioneddol, hi a'i golygodd megis yn dwyllodrus neu ddichellgar. Gofidiwyd hi hefyd am na chaniattai iddi obeithio am fywyd ar ei ol ef, os deuai iddo ryw niweid. Hi hefyd a adgoffaodd, pa ryw fath orchymmynion a roddasai gynt i Joseph; yn gymmaint ag yr ymdrechodd i foddhau ei cheidwaid, ac yn enwedig Sohemus: gan gydnabod yn dda fel yr oedd y cwbl tan ei awdurdod ef. Sohemus ar y cyntaf a fu ffyddlon i Herod, heb esgeuluso dim o'r hyn a roddasai yn ei ofal: ond wedi i'r gwragedd â geiriau teg, ac anrhegion hael, ynnill ei feddyliau trosodd tu ag attynt; ac o'r diwedd i ddatguddio iddynt holl eirchion y brenin: a hyn yn bennaf ar y cyfrif hwnnw, am nad oedd gymmaint ag yn gobeithio y deuai yn ol â'r un awdurdod ag oedd ganddo o'r blaen. Felly fe feddyliodd y diangai rhag pob perygl oddiwrtho, ac a ddychymmygodd ei fod wrth hynny yn mawr foddloni y gwragedd, y rhai oedd debyg i beidio cael eu hesgeuluso yn adsefydliad y llywodraeth; ïe y byddent hwy yn allnog i'w wobrwyo yn helaeth; gan y gosodid hwy i deyrnasu eu hunain, neu i fod yn dra agos at yr hwn a deyrnasai. Yr oedd ganddo sail arall i'w obaith hefyd; er y byddai i Herod gael y llwyddiant a ddymunai, a dychwelyd drachefn, ni allai wrthwynebu ei wraig yn yr hyn a chwennychai: canys efe a wyddai fod hoffder y brenin tu ag atti hi yn annhraethadwy. Dyma'r cymmelliadau a ddenodd Sohemus i ddatguddio pa orchymmynion a roddasid iddo. Felly Mariamne a anfoddlonodd yn fawr i glywed nad oedd ddiben ar y peryglon yr ydoedd tanynt oddiwrth Herod, ac yr oedd yn dra anesmwyth o'i herwydd; gan ddymuno na dderbyniai ddim ffafr gan Cæsar; ac a'i cyfrifodd agos yn beth

annioddefol i gyd fyw âg ef ddim yn hwy: a hyn a gyffesodd yn amlwg yn ol hynny, heb guddio ei digter tu ag atto.

Ac yn awr Herod a fordwyodd adref gyd â llawenydd wrth y llwyddiant annisgwyliadwy a gawsai: ac efe a aeth yn y lle cyntaf at ei wraig, gan adrodd iddi ei newyddion da; trwy ddewis gwneuthur hynny yn gyntaf iddi hi, ar gyfrif ei hoffder o honi, a'r agosrwydd a fuasai rhyngddynt, gan ei chofleidio. Ond digwyddodd felly, fel yr oedd efe yn adrodd am y llwyddiant a gawsai, iddi hi fod mor bell oddiwrth lawenychu, ag iddi ymddangos yn hytrach fod yn ddrwg ganddi o'i herwydd. Ac ni's gallodd guddio ei hanfoddlonrwydd: ond, gan hyderu ar ei huchafiaeth, ac ardderchogrwydd ei thylwyth, yn ddychweliad yn ol i'w gyfarchiad hi a ocheneidiodd; ac a ddangosodd yn amlwg ei bod yn hytrach yn gofidio nac yn llawenhau wrth ei lwyddiant: a hynny nes terfysgu Herod o'i phlegid, am ei bod megis yn rhoddi iddo nodau o'i drwg-dybiau, ac arwyddion amlwg o anfoddlonrwydd. Hyn a'i blinodd ef yn fawr; wrth ganfod y casineb rhyfedd yma tu ag atto yn ei wraig; nid yn guddiedig ond yn amlwg. Ac efe a gymmerodd hyn mor angharedig, fel yr oedd yn analluog i'w oddef, ar gyfrif ei hoffder tu ag atti, er na fedrai barhau yn hir o'r un feddwl: ond weithiau a fyddai ddig wrthi, ac weithiau yn ymgymmodi â hi: ond trwy gyfnewid o hyd o'r naill dymmer i'r llall, yr oedd fyth mewn ansicrwydd. Ac fel hyn yr oedd efe wedi ymddyrysu rhwng casineb a chariad; ac yn fynych yr oedd yn tueddu i osod cospedigaeth arni am ei thrahausdra tu ag atto: ond wrth ei fod tan ddwfn gariad iddi, ni allai yn hawdd wneud ymadawiad â'r wraig hon. Yn fyr, fel ag y dymunasai yn fawr ei chospi, felly yr oedd yn ofni rhag, cyn y disgwyliai, y byddai iddo wrth ei rhoddi hi i farwolaeth, ddwyn cospedigaeth drymach arno ei hun yr un amser.

Pan welodd chwaer Herod a'i fam, ef yn y dymmer hon, mewn perthynas i Mariamne, tybiasant fod ganddynt yn awr gyfleusdra ragorol i arferyd eu casineb yn ei herbyn: a hwy a gyffroisant Herod, trwy adrodd y fath chwedlau meithion ac enllibiau yn ei chylch, ag a allai ar unwaith gynhyrfu ei gasineb a'i eiddigedd. Yn awr, er gwrando o hono yn ufudd ar eu geiriau, etto nid oedd galondid digonol ganddo i wneuthur dim iddi, fel pe credasai hwynt. Ond etto efe a waethygodd yn ei dymmer tu ag atti; a'r nwydau drwg yma a ennynnodd fwy-fwy o bob ochr: pan na chuddiodd hi ei hymddygiad sarrug tu ag atto ef; ac yntau yn cyfnewid ei serchogrwydd i lidiogrwydd i'w herbyn. Ond pan yr oedd ar fyned i osod y matter yma tu hwnt i feddyginiaeth; clybu y newyddion o fod Cæsar yn fuddugoliaethwr yn y rhyfel, a bod Antony a Cleopatra yn feirwon, ac yntau wedi gorchfygu'r Aipht. Ar hyn efe a wnaeth frys i fyned i gyfarfod â Cæsar, gan adael achosion ei deulu yn eu presennol amgylchiad. Pa fodd bynnag, Mariamne a ganmolodd Sohemus wrtho, fel ag yr oedd yn cychwyn i'w daith; gan dystio ei rhwymedigaeth am ei ofal trosti, a gofyn am le iddo yn y llywodraeth: ar yr hyn y caniattawyd swydd anrhydeddus iddo yn ganlynol.

Yn awr, wedi dyfod Herod i'r Aipht, efe a ddygwyd gyd â rhyddid mawr at Cæsar, megis ei fod eisoes yn gyfaill iddo; ac efe a dderbyniodd lawer o ffafr ganddo. Canys efe a anrhegodd iddo bedwar o * Galatiaid, y rhai a fuasent yn warchawdlu Cleopatra: ac a adferodd y wlad honno drachefn iddo, yr hon, o'i phlegid hi, a gymmerasid ymaith oddiwrtho. Efe hefyd a chwanegodd at ei deyrnas Gadara, Hippos, a Samaria: ac heblaw y rhai hyn y dinasoedd morol, Gaza, Ascelon, a Joppa, a thŵr Strato.

Ar ol y chwanegiadau newyddion hyn, fe gynnyddodd yn fwy mewn mawredd; ac a gydymdeithiodd â Cæsar cyn belled ag Antioch. Ond ar ei ddychweliad, er cymmaint o lwyddiant, trwy chwanegiadau at ei deyrnas, a fuasai iddo; o gymmaint â hynny y cynnyddodd y trallodion a ddaeth arno oddiwrth ei deulu ei hun; ac yn bennaf ymherthynas i'w wraig: ym mha berthynas yr ymddangosodd gynt ei fod yn fwyaf dedwydd. Canys y serch ag ydoedd ganddo tu ag at Mariamne, nid oedd mewn un

*Gauliaid.

radd islaw serchiadau y rhai, ar y cyfrif hwnnw, a gofféir mewn hanesion, a hynny yn dra chyfiawn. Am dani hi, yr ydoedd ar ystyriaethau eraill yn ddynes ddiwair, ac yn ffyddlon iddo ef. Etto yr ydoedd, mewn rhyw radd, o dymmer afrywiog, ac yn ymddwyn yn falchïaidd a thrahaus tu ag at ei gwr; wrth weled ei hoffder o honi mor fawr a chymmeryd ei gaethiwo ganddi. Nid ystyriodd hefyd mewn amser â hi ei hun, ei bod yn byw tan un-bennaeth, ac wrth lywodraeth un arall: ac yn ganlynol a ymddygai ei hun mewn modd haerllug ac anostyngedig tu ag atto. Ond efe a arferai ddodi hynny mewn ffordd gellweirus heibio; ac a gyd-ddygai â hi gyd â chymmedrolder a thymmer dda. Hithau a ddannodai ei fam a'i chwaer, ar gyfrif gwaelder eu genedigaeth, gan lefaru yn angharedig am danynt: o herwydd fod cyn hyn anghydfod a chasineb anfaddeuol wedi cymmeryd lle rhwng y gwragedd; ac yr ydoedd yn awr wedi tyfu i fwy gwaradwyddiad o'u gilydd nag o'r blaen: pa ryw ddrwg-dybiau a gynnyddodd, ac a barhasant flwyddyn gyfan ar ol dychweliad Herod oddiwrth Cæsar. Pa fodd bynnag, yr amrafaelion annedwydd yma, y rhai a gadwyd yn ddirgel tros gryn amser, a dorrasant allan o'r diwedd ar y fath achlysur ag yn awr a ymgynnygiodd. Canys fel yr oedd y brenin ar un diwrnod, ynghylch canol-dydd, yn gorwedd i lawr ar ei wely i orphwyso; efe a alwodd am Mariamne, oddiar y serch mawr oedd ganddo yn wastadol iddi. Hi yn ganlynol a ddaeth i mewn; ond ni fynnai orphwyso gyd ag ef. A phan ydoedd yn mawr chwennych ei chymdeithas, hithau a ddangosodd ei dirmyg o hono; ac a chwanegodd, mewn ffordd o waradwydd, iddo fod yn achos i'w * thad a'i brawd gael eu lladd. Ac wedi cymmeryd o hono y diystyrwch hwn yn dra angharedig, ac yn barod i'w hamherchi mewn modd byrbwyll; chwaer y brenin, Salome, yn sylwi ei fod wedi terfysgu yn fwy na chyffredin, a anfonodd i mewn y pen-trulliad at y brenin, yr hwn a barottoisid ym mlaenllaw i'r diben hynny; gan beri iddo amlygu i'r brenin, y modd yr oedd Mariamne wedi ei berswadio i'w chynnorthwyo i barottoi diod-feddyginiaeth iddo: ac os ymddangosai wedi ei gythruddo, a gofyn o hono pa fath ddiod-feddyginiaeth ydoedd? bod iddo yntau ei atteb fod y ddiod-feddygol ganddi hi; ac mai efe ei hun oedd yr un a ddymunodd ei roddi iddo. Ond os na fyddai yn ymddangos â gofal arno ynghylch y feddyginiaeth hon, na chwanegai yntau grybwyll am dani ymhellach: ac os gwnai felly na ddigwyddai ddim niweid iddo. Wedi rhoddi iddo'r cyfarwyddiadau hyn, hi a'i danfonodd i mewn i wneud y cyfryw ymadrodd wrtho. Felly i mewn yr aeth mewn modd arafaidd, i gael gwrandawiad i'r hyn a ddywedai; ac etto gyd â pheth brys: ac a ddywedodd wrtho, fod Mariamne wedi danfon anrhegion iddo, a'i berswadio ef i roddi serch-ddiod feddygol i'r brenin. Ac wedi i'r brenin gyffroi wrtho, dywedodd yntau, mai cymmysgedd ydoedd y serch-ddiod hon a roddasai iddo, effaith pa un ni wyddai efe am dano: yr hyn oedd yr achos roddi o hono iddo'r amlygrwydd hwn, megis y ffordd ddiogelaf a fedrai gymmeryd mewn perthynas iddo ei hun, ac i'r brenin. Wedi i Herod wrando'r hyn a ddywedodd, a'i fod mewn tymmer danbaid o'r blaen, ei ddigter a gynnyddodd yn fwy; ac efe a orchymmynodd fod i eunuch Mariamne, ag oedd ffyddlonaf iddi, gael ei ddwyn i'r arteithfa, oblegid y serch-ddiod feddygol hon: gan wybod yn dda na allai dim gael ei wneuthur heb ei wybodaeth ef. A phan oedd y dyn dan y poenau mwyaf, ni allai ddywedyd dim ymherthynas i'r peth yr oedd yn cael ei arteithio o'i herwydd: ond cymmaint â hynny a wyddai, fod casineb Mariamne tu ag at y brenin wedi ei beri gan ryw beth a ddywedasai Sohemus wrthi. Yn awr, fel yr oedd yn dywedyd hyn, Herod a lefodd allan yn uchel, ac a ddywedodd, Sohemus, yr hwn a fuasai bob amserau eraill yn fwyaf ffyddlon iddo, ac i'w lywodraeth, ni fradychasai yr eirchion a

* Pan osodir Mariamne allan yma, megis yn dannod i Herod fwrddrad ei thad Alexander, yn gystal â'i brawd Aristobulus; pan mai ei thaid Hyrcanus, ac nid ei thad Alexander, a barodd efe ei ladd, (fel y mae Josephus yn hyspysu i ni, pen. 6.) rhaid i ni un ai cymmeryd attom ddarlleniad Zonara, yr hwn a ddywed yma daid, yn gywir: neu ynte rhaid i ni, megis o'r blaen, pen. 1, ganiattau llithrad ym mhin-'sgrifennu neu gof Josephus, yn y lle o'n blaen.

roddasai iddo, heb ddigwydd rhyw gyfeillach agosach na chyffredin at Mariamne. Felly fe orchymmynodd gymmeryd Sohemus yn ddioed, a'i roddi i farwolaeth. Ond efe a ganiattaodd i'w wraig gael ei dwyn i brofiad o flaen y barnwyr: ac efe a gasglodd ynghyd y rhai oedd fwyaf ffyddlon iddo; gan osod cyhuddiad helaeth ger eu bron yn ei herbyn, ynghylch y serchfeddygol ddiod gymmysgedig hon; pa un a gyfrifid iddi hi mewn ffordd o enllib. Pa fodd bynnag, ni chadwodd mewn iawn dymmer wrth lefaru; ond yr ydoedd mewn gormod o danbeidrwydd i farnu yn gywir ar yr achos yma. Yn ganlynol, wedi i'r llys ddeall o'r diwedd ei fod yn penderfynu hynny, darfu iddynt ddatgan dedryd o farwolaeth arni. Ond wedi i'r ddedryd gael ei chyhoeddi, y meddyliau hyn a ymgynnygiodd iddo ef, ac eraill o'r llys, na roddid hi y modd hwn yn fyrbwyll i farwolaeth; ond ei gosod yngharchar yn un o'r amddiffynfeydd perthynol i'r deyrnas. Salome a'i phlaid, pa fodd bynnag, a ymdrechasant yn galed am ei rhoddi yn ebrwydd i farwolaeth; a hwy a berswadiasant y brenin i wneuthur hynny, trwy ei gynghori mewn ffordd o ocheliad, rhag i'r lliaws ymderfysgu os gadawid hi i fyw. Ac fel hyn yr arweiniwyd Mariamne i le ei dihenyddiad.

Pan sylwiodd Alexandra fel yr oedd pethau yn bod, ac nad oedd ond ychydig obaith iddi ddiangc rhag y cyffelyb driniaeth oddiwrth Herod, hi newidiodd ei hymddygiad yn gwbl i'r gwrthwyneb i'w hyfdra o'r blaen, a hynny mewn dull tra ammhrydferth. Canys oddiar ei dymuniad i ddangos ei llwyr anwybodaeth o'r beiau a osodasid yn erbyn Mariamne, hi lammodd o'i heisteddle, ac a waradwyddodd ei merch ynghlywedigaeth yr holl bobl; gan lefain allan, mai dynes ddrwg a fuasai, ac anniolchgar i'w gwr; a bod ei chospedigaeth yn dyfod yn gyfiawn arni am ei hymddygiad trahaus tu ag atto: oblegid na ddychwelasai ufudd-dod dyledus iddo ef, yr hwn oedd eu prif gymmwynaswr. Ac wedi iddi ymddwyn tros ennyd o amser yn y modd rhagrithiol yma, ac ymddangos yn nawswyllt trwy dynnu ymaith'gudynnau o'i gwallt; yr ymddygiad anweddaidd a ffuantus hwn a feiwyd yn fawr, fel y gellid ei ddisgwyl, gan eraill ag oedd yn edrychwyr: ond yn bennaf gan y druanes oedd i ddioddef. Canys ar y cyntaf ni ddywedodd air wrthi, ac ni aflonyddwyd hi oblegid ei drygnaws, ond yn unig a edrychai arni: etto yr oedd hi, trwy dynerwch ei hysbryd, yn gofidio o herwydd troseddiad ei mam; ac yn enwedig am ddinoethi ei hun mewn modd annhrefnus. Ond am dani ei hunan, aeth i farwolaeth gyd â meddwl cadarn ac ansigledig, ac heb newid ei lliw: ac wrth hynny a ddangosodd yn amlwg ei disgyniad o deulu ardderchog i'r edrychwyr, hyd yn oed y munudau diweddaf o'i bywyd.

Ac fel hyn y bu farw Mariamne, merch o eirda rhagorol o ran ei diweirdeb, a mawrfrydigrwydd ei hysbryd: ond yr oedd mewn diffyg o gymmedrolder, a natur rhy dueddol i ymryson: etto'r oedd ganddi 'r hyn oll a ellid ei fynegi am harddwch ei chorph, a mawrhydi ymddygiad mewn cymdeithas: ac oddiwrth hynny tarddodd y rhan fwyaf o achosion,paham na fu foddlongar gan y brenin; ac na bu fyw mor happus gyd ag ef, ag a allasai yn amgen. Canys pan ymddygid tu ag atti yn y dull mwyneiddiaf gan y brenin, oddiar ei hoffder o'i pherson; a hithau heb ddisgwyliad ganddi y gallai wneuthur dim a fyddai yn niweidiol iddi; hi gymmerodd wrth hynny rydd-did rhy ehang. Eithr y peth a'i trallododd fwyaf ydoedd yr hyn a wnaethai efe i'w pherthynasau; a hi a anturiodd ddywedyd am yr hyn oll a ddioddefasent hwy trwyddo. Ac o'r diwedd hi a gythruddodd yn fawr fam y brenin, a'i chwaer, nes iddynt ddyfod yn elyniaethol iddi; ac iddo ef hefyd fyned yr un modd, ar yr hwn yn unig yr oedd yn ymddibynnu ei disgwyliad o ddiangfa rhag y diweddaf o gospedigaethau.

Ond wedi ei marw hi, ennynodd serchiadau'r brenin yn fwy tanbaid tu ag atti nag o'r blaen: canys ei gariad iddi hi ydoedd o natur rywiogaidd; nid y fath ag a gyfarfyddwn yn fynych mewn gwŷr eraill. Canys yn ei ddechreuad yr ydoedd o natur gorawyddus. Ac wedi hir gyd-gyfaneddu a chyfeillachu â'u gilydd, nid oedd ganddo allu i awdurdodi arno. Ond ar

yr amser hwn ei gariad at Mariamne a'i goddiweddodd yn y fath fodd neillduol, ag oedd yn edrych fel dwyfol ddialedd arno am ddwyn ei bywyd ymaith. Canys efe a alwai yn fynych am dani; ac fe a wylai yn aml o'i phlegid yn y modd creulonaf. Ymdrechai hefyd i feddwl am bob peth a allai symmud ei fyfyrdod oddiwrth goffadwriaeth o honi; gan lunio gwleddoedd a chymmanfaoedd i'r pwrpas hwnnw. Ond ni wnai ddim y tro. Efe gan hynny a osododd o'r neilldu weinidogaethiad achosion cyhoeddus; ac a orchfygwyd gymmaint gan y dymmer hon, fel y parai i'w wasanaethyddion alw am Mariamne, fel pe buasai etto yn fyw, ac y gallai eu clywed hwynt. A phan ydoedd yn y ffordd yma, plâ niweidiol a dorrodd allan, ac a ddygodd ymaith y rhan fwyaf o'r lliaws, ac o'i gyfeillion goreu a mwyaf parchus ganddo: yr hyn a barodd i bawb feddwl ddyfod yr afiechyd hwn arnynt trwy ddigllonedd Duw, am yr anghyfiawnder a wnaethid i Mariamne. Yr amgylchiad hwn a drallododd y brenin etto yn fwy; nes o'r diwedd y cymmellodd ei hun i fyned i leoedd anghyfannedd: ac yno, tan esgus o fod mewn helwriaeth, a gystuddiodd ei hun yn ddirfawr. Etto ni oddefasai y gofid hwn yno lawer o ddyddiau, nes syrthio o hono i glefyd peryglus ei hun. Yr oedd poethfa arno, a dolur yn y rhan ol o'i ben, yn gyssylltedig â gwallgofrwydd: a'r feddyginiaeth a arferodd ni wnaeth iddo ddim lles oll; ond a brofodd yn wrthwyneb i'w afiechyd; ac felly o'r diwedd a'i dygodd i anobaith. Yr holl physygwyr hefyd oedd yn ei gylch; mewn rhan oblegid na allai 'r cyffuriau a ddygent i'w adferyd orchfygu ei anhwyldeb; ac mewn rhan o herwydd ei luniaeth, yr hwn ni allai fod yn ddim arall na'r hyn ag oedd ei afiechyd yn ei dueddu atto; a ddymunasant arno gymmeryd yn ymborth pa beth bynnag a ewyllysiai: ac felly hwy a ymadawsant â'r ychydig obaith oedd ganddynt am ei wellhad oddiwrth effaith yr ymborth hwnnw, ac a'i rhoisant i fynu i dynghedfen. Ac fel hyn yr aeth ei glefyd ym mlaen tra fu yn Samaria, a elwir yn awr Sebaste.

Alexandra yn y cyfamser a drigodd yn Jerusalem, ac wedi ei gwneud yn hyspys o'r cyflwr yr oedd Herod ynddo, hi ymdrechodd i gael meddiant o'r lleoedd amddiffynnol ydoedd o amgylch y ddinas, y rhai oeddynt ddau; un yn perthyn i'r ddinas, a'r llall i'r deml. A'r rhai a allent eu cael i'w dwylaw oeddynt a'r holl genedl tan eu hawdurdod. Canys heb fod yn ben ar y mannau hyn, yr oedd yn amhossibl iddynt offrymmu eu haberthau. Ac i feddwl dodi heibio yr aberthau hyn sydd yn anhawdd i Iuddew; y rhai ydynt fyth yn barottach i golli eu bywydau, nag i adael o'r neilldu y dwyfol addoliad hwnnw pa un a arferent ei dalu i Dduw. Alexandra gan hynny a chwedleuodd â'r rhai oedd yn cadw y lleoedd cedyrn hyn, y byddai gymmwys iddynt draddodi yr unrhyw iddi hi, ac i feibion Herod; rhag, ar ol ei farwolaeth, i ryw un arall ymaflyd yn y llywodraeth. Ac os adferid ef o'i afiechyd, ni allai neb eu cadw yn ddiogelach iddo na'r rhai o'i deulu ei hun. Y geiriau hyn, pa fodd bynnag, ni chymmerwyd ganddynt mewn ffordd dda: canys fel y buasent hwy mewn amserau o'r blaen yn ffyddlon i Herod, hwy a ymroisant i barhau felly yn awr, yn helaethach nag un amser; yn gystal o blegid eu casineb i Alexandra, ac o herwydd eu bod yn ei farnu yn radd o ddidduwiaeth i anobeithio am iachâd Herod, tra'r ydoedd etto yn fyw. Canys hwy oeddynt ei hen gyfeillion; ac un o honynt, yr hwn oedd a'i enw Achiabus, ydoedd ei gefnder. Danfonasant negeseuwyr gan hynny i'w wneud yn hyspys o amcan Alexandra. Felly ni wnaeth oediad hwy,* ond a roddodd orchymmyn ar iddynt ei lladd. Etto bu gyd ag anhawsdra, ac ar ol iddo ddioddef poen lawer y cafodd ymadael â'i glefyd. Yr ydoedd etto yn drallodedig iawn mewn corph a meddwl, ac yn cael ei wneud yn dra anesmwyth; ac yn barottach nag erioed, ar bob achlysur, i osod cospedigaeth ar y rhai a syrthient tan ei law. Efe hefyd a laddodd y rhai nesaf o'i gyfeillion, megis Costobarus, Lysimachus, a Gadias, yr hwn a elwid Antipater; ac hefyd Dositheus: a hynny ar yr achlysur canlynol:---

Costobarus ydoedd Idumead wrth enedigaeth;

* Bl. 28.

ac yn un o dderchafiad pennaf yn eu mysg hwynt; ac hefyd un a fuasai â'i hynafiaid yn offeiriaid i'r Hoze, pa un yr oedd yr Idumeaid gynt yn ei alw yn dduw. Ond wedi i Hyrcanus wneuthur cyfnewidiad yn eu llywodraeth wladol, a pheri iddynt dderbyn y defodau a'r cyfreithiau Iuddewig; Herod a wnaeth Costobarus yn llywodraethwr Idumea a Gaza, ac a roddodd iddo ei chwaer Salome yn wraig; a hynny a fu pan laddodd ei ewythr Joseph, yr hwn a fuasai ganddo y llywodraeth honno o'r blaen, fel yr adroddasom eisoes.* Wedi i Costobarus gael derchafiad mor uchel, yr ydoedd yn dda ganddo, ac yn beth mwy nag a obeithiodd; ac efe a chwyddwyd i fynu fwy-fwy gan ei lwyddiant; ac ym mhen ychydig efe a aeth tu hwnt i bob terfynau, ac ni thybiodd yn gymmwys ufuddhau i Herod fel y darfu i'w llywodraethwr orchymmyn iddo; neu fod i'r Idumeaid wneuthur defnydd o'r defodau Iuddewig, a bod yn ddarostyngedig iddynt. Efe gan hynny a ddanfonodd at Cleopatra, ac a hyspysodd iddi, fod yr Idumeaid bob amser tan ei hynafiaid, ac mai am yr un rheswm nad ydoedd ond cyfiawn iddi ddymuno yr un wlad iddo ef gan Antony: a'i fod ef yn barod i drosglwyddo ei gyfeillgarwch iddi hi. A hyn a wnaeth, nid o ran ei fod yn boddloni yn well i fod tan lywodraeth Cleopatra; ond o herwydd ei fod yn meddwl, ar leihad awdurdod Herod, na fyddai anhawdd iddo feddiannu yn gyflawn y llywodraeth ar yr Idumeaid, a rhyw faint yn rhagor. Hefyd efe a ddyrchafodd ei feddwl ryw radd yn uwch, megis fod ganddo ddisgwyliad nid ychydig, yn gystal oddiwrth ei enedigaeth, a chyd â'r cyfoeth hwnnw a gawsai oddiwrth fudr-elwa. Ac yn ganlynol nid at fatter bychan yr oedd yn cyfeirio. Felly Cleopatra a geisiodd y wlad hon gan Antony, ond a fethodd yn ei hymgais. Herod wedi derbyn hyspysiad o hyn, ydoedd barod i ladd Costobarus: etto, ar eiriolaeth ei chwaer a'i fam, efe a faddeuodd iddo, ac a'i sicrhaodd o lwyr faddeuant, er ei fod yn ei ddrwgdybio ar ol hynny oblegid ei gynnygiad.

Ond ryw amser canlynol, pan ddigwyddodd i Salome gweryla â Costobarus, hi † ddanfonodd iddo lythyr ysgar, ac a ymryddhaodd oddiwrth ei phriodas ag ef. Er nad oedd hyn yn unol â'r cyfreithiau Iuddewig; canys gyd â ni y mae'n gyfreithlon i'r gwr wneuthur hyny; ond os ymedy gwraig â'i gwr, ni's gallai o honi ei hun briodi gwr arall, oddigerth i'w gwr cyntaf ei rhoddi ymaith. Pa fodd bynnag, ni ddewisodd Salome ddilyn cyfraith ei gwlad, ond cyfraith ei hawdurdod, ac felly a ymwrthododd â'i phriodas: a hi a ddywedodd i'w brawd Herod, adael o honi ei gwr oddiar ewyllys da iddo ef: o herwydd iddi ganfod ei fod ef gyd ag Antipater, Lysimachus, a Dositheus yn codi ymrysoniadau i'w erbyn. Fel tystiolaeth o hyn crybwyllodd am gyflwr meibion Babas, gadw o hono hwynt yn fyw eisoes tros ddeuddeng mlynedd o amser; yr hyn a brofwyd yn wir. Ond wedi i Herod y modd hwn glywed yn annisgwyliadwy am dano, yr ydoedd yn rhyfeddu wrtho: ac yn fwy felly, o herwydd fod yr hanes yn ymddangos iddo yn anghredadwy. Am yr ymddygiad perthynol i feibion Babas, Herod a gymmerasai o'r blaen lawer o boen i'w dwyn hwynt i gospedigaeth, megis gelynion i'w lywodraeth. Ond yn awr yr oeddynt wedi eu hanghofio ganddo, ar gyfrif hŷd yr amser a gerddasai wedi gorchymmyn o hono ef eu lladd. Yn awr, yr achos o'i ddrwg-ewyllys a'i gasineb tu ag attynt hwy a gyfododd oddiwrth hyn; tra'r oedd Antigonus yn frenin, Herod a'i fyddin a warchäeodd ar ddinas Jerusalem; lle'r oedd y cyfyngder a'r trueni a ddioddefodd y trigolion mor galed, fel y darfu

* Pen. 3.

† Dyma siampl eglur o foneddiges Iuddewig yn rhoddi llythyr-ysgar i'w gwr; er yn nyddiau Josephus ni chyfrifid yn gyfreithlon gan yr Iuddewon i wraig wneuthur hynny. Gwel y cyffelyb XX. 7, ac ym mhlith y Parthiaid XVIII. 9. Pa fodd bynnag, y gyfraith Gristionogol, pan ganiattai ysgar am odineb, Matth. v. 32, a ganiattaodd i wraig ddiwair wneud ysgariad â gwr a fyddai'n euog; yn gystal a gwr diniweid i ysgaru â gwraig euog; fel yr addysgwn oddiwrth fugail Hermas, Mand. IV, ac oddiwrth ail amddiffyniad Justin Martyr; lle y dygwyd erlidigaeth ar y Cristionogion o herwydd y fath ysgar. Ac yr wyf yn meddwl fod y cyfreithiau Rhufeinaidd yn ei ganiattau yr amser hwnnw, yn gystal â chyfreithiau Cristionogrwydd. Yn awr, y Babas hwn, pa un ydoedd o hiliogaeth yr Asmoneaid neu Maccabeaid, a adroddir gan yr Iuddewon, fel y sylwia Dr. Hudson yma, ei fod yn un euwog mewn crefydd yn y ffordd Iuddewig; ac yr arferai, (oddigerth ar y dydd nesaf i'r degfed o Tizri, sef dydd mawr y cymmod, pan ymddengys megis yn meddwl fod ei holl bechodau yn cael eu maddeu,) ar bob dydd o'r flwyddyn, offrymmu aberth tros ei bechod o anwybodaeth, neu'r cyfryw ag a feddyliodd ei fod yn euog o honynt, ond heb eu cofio yn neillduol Gwelwch debygolrwydd iddo yn Agrippa y mwyaf, XIX. 7, a Job i. 4.

i'r rhan fwyaf o honynt wahodd Herod i'r ddinas, wedi gosod eu hyder eisoes arno ef. Yn awr, meibion Babas oeddynt mewn dyrchafiad mawr, ag awdurdod ganddynt ym mhlith y lliaws, ac yn ffyddlon i Antigonus; ac oeddynt bob amser yn cyfodi enllib yn erbyn Herod; gan annog y bobl i amddiffyn y llywodraeth ym meddiant y teulu brenhinol, i'r rhai y perthynai fel etifeddiaeth. Felly y gwŷr yma a wnaethant fel hyn yn gyfrwysgall, ac fel y tybiasant hwy er eu hunan-fantais. Ond wedi cymmeryd y ddinas, a chael o Herod y llywodraeth i'w ddwylaw ei hun; ac appwyntio o hono Costobarus i attal rhai rhag myned allan trwy'r pyrth, ac i wylio'r ddinas; fel na byddai i'r dinasyddion ag ydoedd o'r blaid wrthwyneb i'r brenin, ddiangc allan o honi: Costobarus yn gwybod fod meibion Babas yn cael eu parchu a'u haurhydeddu gan yr holl liaws; ac yn meddwl y byddai eu harbediad o fantais iddo ef, ynghyfnewidiad canlynol y llywodraeth; am hynny fe'u gosododd o'r neilldu, ac a'u cuddiodd yn ei adeiladau ei hun. A phan amheuwyd am hyn, efe a sicrhaodd i Herod trwy lw na wyddai ddim am y matter; ac felly a gafodd y goreu ar y drwg-dybiau oedd ganddynt am dano. Ië, ar ol hynny, pan wnaeth y brenin gyhoeddiad o wobrwyo'r sawl a'u datguddiai, ac ymarfer pob moddion i chwilio hyn allan, ni chyfaddefodd am danynt. Ond wedi ei berswadio, ar ol iddo ar y cyntaf eu gwadu, os caid hwynt, na ddiangai efe yn ddigosp; gorfyddodd iddo gan hynny eu cadw yn ddirgel; nid yn unig o'i ewyllys da iddynt, ond hefyd oddiar angenrheidrwydd o ofalu tros ei fywyd ei hun. Ond wedi i'r brenin wybod am y peth trwy hyspysiad gan ei chwaer, efe a ddanfonodd wŷr i'r lleoedd yr arwyddwyd iddo eu bod yn guddiedig; gan orchymmyn iddynt hwy, a'r rhai a gyhuddwyd yn euog gyd â hwynt, i gael eu lladd: yn gymmaint ag nad oedd yn awr wedi eu gadael yn fyw neb o dylwyth Hyrcanus; a'r deyrnas a ddaeth yn hollol tan awdurdod Herod: ac nid oedd neb yn aros â'r fath awdurdod ag a allai roi attalfa ar yr hyn a wnaeth yn erbyn y cyfreithiau Iuddewig.

## PENNOD VIII.

*Am y cydfradwriaeth yn erbyn Herod, ar gyfrif yr ymarferiadau dieithrôl a ddygodd i mewn; ac am adeiladaeth Sebaste, Cæsarea, a mannau eraill.*

AR y cyfrif yma Herod a giliodd oddiwrth gyfreithiau ei wlad, ac a gyfnewidiodd eu gosodiadau hynafiaethol, trwy ddwyn ymarferiadau dieithrol i mewn; yr hwn osodiad, er hynny, a ddylasai gael ei gynnal yn ddidrais. Trwy ba foddion y daethom yn euog o ddrwg mawr yn ol hynny, tra'r oedd yr arferiadau crefyddol a dueddai'r lliaws at dduwioldeb yn cael yn awr eu hesgeuluso. Canys yn y lle cyntaf efe a appwyntiodd chwareuon parchedig, i'w cynnal bob pummed flwyddyn yn aarhydedd i Cæsar; ac a adeiladodd chwareudy yn Jerusalem; ac hefyd chwareufa dra ehang yn y gwastadedd. Pob un o honynt yn wir ydoedd waith costfawr; ond yn wrthwynebol i ddefodau'r Iuddewon. Canys nid oedd gennym y fath ddrychau wedi eu traddodi i lawr i ni, yn gymmwys i'w harfer a'u dangos. Etto efe a gynnaliai y chwareuon hyn bob pum mlynedd, yn y modd parchusaf a godidoccaf. Efe hefyd a gyhoeddodd i wleddydd cymmydogol, gan alw pobl ynghyd o bob cenedl. Yr ymaflwyr codwm hefyd, ac eraill a ymdrechai i ennill y gamp yn y fath chwareuon, a wahoddid trosodd o bob gwlad; yn gystal o herwydd gobaith am y fath wobrwyon ag a gyfrannid; a chlod i'r ennillwyr a gaid yno. Felly y dynion pennaf ag oedd fwyaf enwog yn y fath ymarferiadau a hyn a ddaethant ynghyd. Canys yr ydoedd gwobrwyon tra mawr yn cael eu haddo i fuddugoliaethwyr, nid yn unig i'r rhai a gyflawnent eu campau yn noethion, ond i'r rhai a chwareuent fel cerddorion hefyd, a elwid Thymelici. Ac ni arbedodd ddim poen i ddenu pob math o ddynion ag oedd hynod am y fath gampau, i ddyfod i'r ymrysonfa hon am fuddugoliaeth. Efe hefyd a gynnygiodd wobrwyon nid ychydig i redegwyr mewn cerbydau, pan dynnid hwy gan bedwar, tri, neu ddau bâr o geffylau. Efe hefyd a ddilynodd pob peth, er mor gostus a fyddai, neu ardderchog mewn gwledydd eraill; oddiwrth ei awydd i wneuthur y dangosiad mwyaf cyhoedd o'i fawredd.

Argraphiadau o ymladdfeydd Cæsar hefyd, a nodau-goruchafiaeth ar y cenhedlaethau a fuddugoliaethodd efe arnynt yn ei ryfeloedd; a'r cyfan o aur pur ac arian o amgylch y chwareudy. Ac nid oedd un peth a allai wasanaethu i'w amcan, pa un bynnag ai gwisgoedd gwerthfawr, neu feini gwerthfawr wedi eu gosod yn addurniadau, na arddangosid hwynt ar gyhoedd yn y chwareuon hyn. Efe hefyd a barottôdd anifeiliaid gwylltion yn rhifedi mawr; a'r fath greaduriaid eraill ag ydoedd un ai o nerth anghredadwy, neu'r fath ag a welid yn anaml. Y rhai hyn a fwriadid un ai i ymladd â'u gilydd, neu fod i ddynion a farnwyd i farwolaeth ymladd â hwynt. Ac yn wir yr oedd dieithriaid yn mawr ryfeddu, ac yn ymbleseru wrth y drychau ehang a threulfawr hyn. Ond i Iuddewon o enedigaeth, * nid oeddynt yn ymddangos yn amgen nag i ddadwneud eu defodau, i ba rai yr oedd cymmaint o barch ganddynt. Nid oedd yn ymddangos hefyd yn ddim gwell nac arwydd o ddidduwiaeth wynebnoeth, i fwrw dynion i anifeiliaid gwylltion, i'r diben i ddifyrru'r edrychwyr. Ac nid ymddangosai yn llai arwydd o ddidduwiaeth i gyfnewid eu cyfreithiau am y fath ymarferiadau dieithrol. Ond uwchlaw'r cwbl eraill, yr arwyddion buddugoliaeth a barodd ddrwg archwaeth i'r Iuddewon. Canys megis y dychymmygasant hwynt yn ddelwau, cynnwysedig ym mhlith yr arfogaeth oedd o'u hamgylch, hwy a anfoddlonwyd yn fawr; oblegid nad oedd yn arferiad eu gwlad i dalu anrhydedd i'r fath wrthddrychau.

Herod ydoedd dra adnabyddus o'r terfysg yr oeddynt ynddo: ac fel y barnodd ei bod yn ammhrydlon i arfer trais tu ag attynt; efe a ymddiddanodd â hwy mewn modd cyssurus, mewn trefn i'w rhyddhau o'r ofnau ofer-goelus hynny yr oeddynt tanynt. Etto ni allai roddi boddlonrwydd iddynt; ond hwy a lefasant allan yn un llais, oddiar eu mawr anesmwythder o blegid y troseddiadau a feddyliasant ei fod yn euog o honynt: ac er gorfod iddynt oddef pethau eraill, etto ni oddefent ddelwau fyth i gael eu harddangos yn eu dinas, gan feddwl yr arwyddion buddugoliaeth; o herwydd fod hyn yn anghyttunol â chyfreithiau eu gwlad. Yn awr, pan welodd Herod na newidient yn hawdd eu bwriadau, oddieithr cael o honynt foddlonrwydd yn y peth hwn; efe a alwodd atto y rhai euwoccaf o honynt, ac a'u dygodd i'r chwareudy, gan ddangos iddynt yr arwyddion buddugoliaeth; gan ofyn pa fath bethau a feddylient fod y rhai hynny? A phan lefasant mai lluniau dynion oeddynt; efe a orchymmynodd eu diosg hwynt o'r addurniadau allanol oedd o'u hamgylch, ac a ddangosodd iddynt y darnau noethion o brennau; pa ryw ddarnau yn awr heb eu haddurniadau o'u hamgylch, a ddaethant yn achos o wawd a chwerthiniad iddynt; o herwydd fod addurniadau delwau yn ddirmygus bob amser yn eu golwg.

Pan ddarfu i Herod fel hyn arafu tanbeidrwydd y dymmer ym mha un y buasai'r lliaws; y rhan fwyaf o'r bobl ydoedd barod i newid eu hymddygiad, a pheidio anfoddloni wrtho ddim hwy. Ond etto rhai o honynt a gadwasant eiddigedd i'w erbyn, am ddwyn o hono i mewn draddodiadau newyddion; gan gyfrif y trais a wnaid ar gyfreithiau eu gwlad yn debyg o fod yn achos o'r drygau mwyaf iddynt. Felly hwy a'i cyfrifent yn arwydd o dduwioldeb yn hytrach i beryglu eu hunain am eu bywydau, nag i ymddangos fel rhai heb sylwi ar Herod; yr hwn, ar y cyfnewidiad a wnaeth yn y llywodraeth, a ddygodd i mewn y fath ymarferiadau a'r na's gwelsent o'r blaen: yr hwn yn ddiau ydoedd yn esgus brenin, ond mewn gwirionedd yn un ag oedd yn dangos ei hun yn elyn i'w holl genedl. Ar y cyfrif hwn, deg o ddynion, ag oeddynt ddinasyddion Jerusalem, a gydfradasant yn erbyn Herod; gan dynghedu eu gilydd i fyned tan y perygl mwyaf yn yr anturiaeth; a chymmeryd cleddyfau bychain gyd

* Y chwareuon a'r golygiadau cyhoeddus hyn, ynghyd â'r Thymelici, neu gyfarfodydd cerddoriaeth; hefyd y cerbyd-redegfa, a dynnid gan bedwar, tri, neu ddeubar o geffylau, &c. a osodasid i fynu gan Herod yn ei chwarer-fannau, a oeddynt o hyd yn cael eu cyfrif, fel y gwelwn yma, gan yr Iuddewon difrifol yn ddim gwell na difyrron cenhedlig; ac yn tueddu i lygru moesau y genedl Iuddewig, a'u dwyn i serch at addoliad ac ymarweddiad Paganaidd, er diddymiad o gyfraith Moses; ac yn ganlynol a feiwyd yn llym ganddynt; fel yr ymddengys yma, ac ym mhob man arall yn Josephus.

â hwynt, tan eu dillad, i'r diben o'i ladd ef. Yn awr yr ydoedd rhyw ddyn dall ym mysg y bradwyr hyn, yr hwn a dyngasai y modd yma, o achos y digllonedd oedd ganddo tu ag at yr hyn a glybu fod wedi ei wneuthur. Nid oedd efe yn wir yn alluog i fod o ddim cynnorthwy neillduol yn hyn; ond a ydoedd barod i fyned tan unrhyw ddioddefiadau gyd â hwynt, yn y canlyniad o ddarfod i ryw niweid ddigwydd iddynt; fel y daeth yn annogaethwr mawr i eraill a ymrwymasant i'r gorchwyl.

Wedi cymmeryd o honynt y bwriad hwn, hwy a aethant i fynu i'r chwareudy, gan obeithio na allai Herod ei hun ddiangc rhagddynt, pan syrthient arno mor ddisymmwth: a chan feddwl os methent ef, y lladdent amryw o'r rhai oedd o'i amgylch. A hyn a ymroisant iddo, er gorfod o honynt farw o'i blegid, mewn trefn i arwyddo i'r brenin pa fath niweid a wnaethai i'r lliaws. Y bradwyr hyn, wedi parottoi eu hunain yn y modd uchod, a aethant ynghylch cyflawni eu hamcan gyd â bywiogrwydd mawr. Ond yr ydoedd un o yspïwyr Herod, a appwyntiasid i'w wneud yn hyspys o ryw fradwriaethau a gyfodai i'w erbyn; y rhai a gawsant allan yr holl achos, ac a ddywedasant wrth y brenin am dano, pan ydoedd ynghylch myned i'r chwareudy. Felly pan ystyriodd y casineb ag a wyddai fod gan y rhan fwyaf o'r bobl tu ag atto, a'r terfysg oedd yn cyfodi ar bob achos; efe a farnodd nad oedd y bradwriaeth hwn i'w erbyn yn annhebyg. Yn ganlynol efe a aeth i mewn i'r palas; ac a alwodd y rhai a gyhuddasid o'r bradwriaeth hwn o'i flaen wrth eu hamrywiol enwau. Ac megis yn syrthiad y gwarchawdlu arnynt y daliwyd hwy ar y weithred, gan wybod na allent ddiangc, parottoisant eu hunain i'w diwedd oreu ag y medrent, yn y fath fodd na chilient oddiwrth eu hymröad blaenorol: canys ni ddangosasant eu bod yn cywilyddio am yr hyn yr oeddynt yn ei fwriadu, ac nis gwadasant: ond pan ddaliwyd hwynt, dangosasant eu cleddyfau; gan dystio am y cyd-fradwriaeth a dyngasant iddo, ei fod i gyflawni gweithred gyssegredig a duwiol; ac nad oeddynt yn amcanu ei wneuthur er elw, nac i foddhau eu nwydau; ond yn bennaf ar gyfrif defodau crefyddol eu gwlad, y rhai yr oedd yr holl Iuddewon yn rhwym i'w sylwi neu i farw trostynt. Dyma'r peth a ddywedodd y gwŷr hyn oddiar eu cefnogrwydd dibaid yn y cydfradwriaeth. Felly hwy a ddygwyd ymaith i'w dibenyddiad gan warchawdlu'r brenin oedd yn sefyll o'u hamgylch: ac a aethant yn amyneddgar tan yr holl arteithiau a osodwyd arnynt, nes eu marw. Ac ni bu yn hir nes i'r yspïwr hwnnw a'u datguddiasai, gael ei oddiweddyd gan rai o'r bobl, oddiar y casineb oedd ganddynt tu ag atto; ac nid yn unig efe a laddwyd, ond a dynnwyd ei aelodau oddiwrth eu gilydd yn ddarnau, ac a'u bwriwyd i'r cŵn. Y weithred hon a welwyd gan amryw o'r dinasyddion: etto ni amlygid un o honynt gan yr edrychwyr; nes darfod i Herod, ar fanwl ymofyniad am danynt, a dioddefiadau chwerwon, beri i ryw wragedd a arteithiwyd gyffesu yr hyn a welsent ei wneuthur. Awdwyr y weithred yn ol hynny a gospwyd mor ddychrynllyd gan y brenin, fel y difethwyd eu holl deuluoedd am y weithred fyrbwyll hon. Etto ni ddarfu i wrthnysigrwydd y bobl, a'r dianwadalwch parhaus a ddangosasant yn amddiffyniad eu cyfreithiau, wneud Herod yn dynerach tu ag attynt. Ond efe o hyd a ymgadarnhaodd mewn modd sicr; ac a ymroddodd i fyned o amgylch y bobl yn feunyddiol bob ffordd, rhag i'r fath gynnygiadau am newydd-deb ddibennu mewn cyhoeddus wrthryfel.

Fel yr oedd ganddo yn awr y ddinas wedi ei hamddiffyn gan y palas, yr hwn yr ydoedd yn trigo ynddo, ynghyd â'r deml; yr hon oedd ag amddiffynfa gref wrthi a elwid Antonia, ac wedi ei hadeiladu ganddo ei hun; efe a ddyfeisiodd wneuthur Samaria yn amddiffynfa iddo hefyd yn erbyn y bobl, ac a'i galwodd hi Sebaste; gan feddwl na byddai hwn yn lle o lai cadernid na'r cyntaf yn erbyn pobl y wlad. Felly y lle hwnnw a amddiffynnodd, yr hwn ydoedd daith diwrnod o Jerusalem; a'r hwn gan hynny a fyddai ddefnyddiol iddo yn gyffredin, i gadw'r wlad a'r ddinas tan ofn. Efe hefyd a wnaeth amddiffynfa arall i'r holl genedl. Gelwid hwnnw gynt tŵr Strato; ond a alwyd ganddo ef Cæsarea.

Dewisodd allan rai gwŷr meirch detholedig, ac a'u gosododd yn y gwastadedd mawr; ac a adeiladodd le iddynt yn Galilea, a elwid * Gaba; gyd â Hesebonitis yn Perea. A thyma'r lleoedd neillduol yr adeiladodd ynddynt: tra'r ydoedd yn wastadol yn dychymmygu rhyw beth ymhellach er ei hunan ddiogelwch, ac yn amgylchu'r holl genedl â gwarchawd-luoedd, fel na allent mewn un modd fyned ymaith o'tan ei awdurdod, na syrthio i derfysg, yr hyn a wnaent yn wastadol ar yr achos lleiaf; ac os gwnaent ddim cynnwrf, y gallai yn ebrwydd wybod am dano, pan fyddai i rai o'i yspïwyr ar eu gwarthaf hwynt yn y gymmydogaeth; ac yr adnabyddai yr hyn yr oeddynt yn ei anturio, ac i'w ragflaenu. A phan ydoedd yn myned o amgylch adeiladu mur Samaria, efe a arfaethodd ddwyn yno amryw a fuasent gynnorthwyol iddo yn y rhyfel; ac amryw bobl o'r gymmydogaeth, y rhai a wnaeth yn gyd-ddinasyddion â'r lleill. Hyn a wnaeth oddiar awyddfryd meddwl i adeiladu teml; ac o ddymuniad i wneuthur y ddinas yn fwy enwog nag a fuasai o'r blaen; ond yn bennaf fel y byddai ar unwaith yn ddiogelfa iddo ei hun, ac yn arwydd-faen o'i fawrhydi. Efe hefyd a gyfnewidiodd ei henw, gan ei galw hi † Sebaste; a rhannodd y wlad gyssylltedig, yr hon oedd o natur odiaethol, ym mysg preswylwyr Samaria, fel y byddent mewn amgylchiad dedwydd, ar eu dyfodiad cyntaf i'w phreswylio. Heblaw hyn, efe a amgylchynodd y ddinas â mur o gadernid mawr; ac a wnaeth ddefnydd o lechweddiad y lle i wneud ei hymddiffynfeydd yn gadarnach. Ac nid oedd cwmpasiad y ddinas yn awr cyn lleied ac a fuasai o'r blaen; ond a ydoedd y fath ag a'i gwnai heb fod yn is-radd i'r dinasoedd enwoccaf: canys yr ydoedd yn ugain cufydd o gwmpas. Yn awr efe a adeiladodd o'i mewn, ac ynghylch ei chanol, le cyssegredig, yn gufydd a hanner o gwmpas, ac a'i haddurnodd â phob math o wychder; ac yno efe a adeiladodd deml; yr hon ydoedd enwog, ar gyfrif ei ehangder a'i harddwch. Ac ymherthynas i amrywiol rannau'r ddinas, efe a'u harddodd ag amryw addurniadau hefyd: ac a wnaeth y muriau yn dra chedyrn er diogelwch iddo; ac a wnaeth y rhan fwyaf o honi megis tŵr neu gastell: ac am odidowgrwydd yr adeiladau, cymmerwyd gofal hefyd o'u herwydd: fel y gadawai goffadwriaethau o'i gywreinrwydd a'i haeledd i oesoedd i ddyfod.

## PENNOD IX.

*Am y newyn a ddigwyddodd yn Judea a Syria; Herod yn priodi merch Simon; ac ail-adeiladu Cæsarea, a dinasoedd Groegaidd eraill.*

YN awr yn y flwyddyn hon, sef y drydydd ar ddeg o deyrnasiad Herod, fe ddaeth trallodion mawr ar y wlad: pa un bynnag a'i oeddynt yn tarddu oddiwrth ddigllonedd Duw, neu ‡ fod y trychineb yma yn dychwelyd yn naturiol ym mhen rhyw brydiau o amser. Canys, yn y lle cyntaf, bu sychdwr yn olynol; ac am y rheswm hwnnw yr ydoedd y ddaear yn ddiffrwyth, ac ni ddygodd yr un mesur o gnydiau ag arferol. Ac ar ol y diffrwythdra hwn o'r ddaear, y newidiad ar ymborth, trwy ddiffyg llafur neu ŷd, a fu'n achos o afiechyd ynghyrph dynion, heintiau niweidiol a ddilynodd: a'r naill drueni a ddaeth ar gefn y llall. A'r amgylchiadau hyn a'u hymddifadodd o'r moddion o iachâd ac ymborth, a barodd yr afiechyd heintiol, a ddechreuodd yn ddisymmwth, yn fwy parhäol. Difethiad pobl hefyd yn y fath fodd, a ymddifadodd y rhai a fuont fyw o'u holl hyder, o herwydd nad oedd ganddynt un ffordd i barottoi meddyginiaeth ddigonol gogyfer a'r trallodion yr oeddynt ynddynt. Gan hynny, wedi i ffrwythau'r flwyddyn gael eu difetha, a'r hyn oll a roesent heibio fod wedi eu treulio, nid oedd un sail o obaith am ymddiffyn wedi ei adael: ond y trueni, gwrthwyneb i'r hyn a ddisgwyliasent, a gynnyddodd fyth arnynt. A hynny nid yn unig y flwyddyn honno, pan nad oedd ganddynt ddim wedi ei adael iddynt eu

* Ysgatfydd Ganala. † Augusta, yn anrhydedd i Augustus Cæsar.

‡ Yma y mae gennym siampl enwog o iaith Josephus wrth ysgrifennu at Genhedloedd, yn wahanol i'w ysgrifenadau at Iuddewon. Yn ei ysgrifeniad attynt hwy, y mae bob amser yn golygu y fath farnedigaethau yn tarddu oddiwrth anfoddlonrwydd Duw. Ond oblegid y gwyddai fod amryw o'r Cenhedloedd yn meddwl y gallent ddyfod yn naturiol ar amserau pennodol, y mae'n cydymagweddu â hwynt yn yr ymadrodd canlynol. Gwel y nod ar Hanes y Rhyf. I. 33.

hunain ar eu diwedd: ond yr hâd a hauasant a ddifethwyd hefyd, o achos na roddodd y ddaear ei ffrwyth yr * ail flwyddyn. Y cyfyngderau hyn a wnaeth iddynt o angenrheidrwydd ymborthi ar amrywiol bethau na fyddent arferol. Ac nid ydoedd y brenin ei hun yn rhydd oddiwrth y trallod hwn yn fwy nag eraill: megis ei fod yn cael ei ymddifadu o'r deyrnged a fyddai arferol o'i derbyn oddiwrth ffrwythau'r ddaear; ac wedi treulio eisoes yr hyn a feddai o arian yn ei haelioni i'r rhai hynny yr ail-adeiladodd eu dinasoedd. Ac nid oedd ganddo ddim pobl teilwng o'u cynnorthwy, gan fod yr amgylchiad truenus hwn wedi dwyn arno gasineb ei ddeiliaid: canys rheol wastadol yw, cyfrif y trallodion a ddigwyddo i'r rhai a fyddo yn llywodraethu.

Yn yr amgylchiadau hyn efe a ystyriodd rhyngddo ag ef ei hun pa fodd i gael rhyw gymmorth prydlon. Ond peth anhawdd ydoedd hyn i'w wneuthur pan nad oedd lluniaeth gan gymmydogion i'w werthu iddynt; a'u harian hefyd ydoedd wedi treulio, pe buasai bossibl iddynt bwrcasu ychydig luniaeth am bris mawr. Pa fodd bynnag efe a ymroddodd i beidio rhoddi heibio ei ymdrechiadau i gynnorthwyo ei bobl. Felly efe a dorrodd ymaith yr addurniadau cyfoethog oedd yn ei balas o arian ac aur; yn gymmaint nad arbedodd y dodrefn goreu oedd ganddo; neu rai a wnaethid trwy ddyfais y celfyddwyr cywreiniaf: ond efe a ddanfonodd yr arian at Petronius, yr hwn a wnaethid yn rhaglaw yr Aipht gan Cæsar. Ac fel nad ychydig a ddiangasai eisioes atto ef yn eu hanghenion; ac fel yr oedd efe yn gyfaill neillduol i Herod, ac yn ewyllysio diwallu ei ddeiliaid; caniattaodd iddynt yn y lle cyntaf i gael ŷd o'i wlad, ac a'u cynnorthwyodd bob ffordd i bwrcasu a danfon yr unrhyw; felly efe oedd y pennaf, os nid yr unig wr, a roddodd iddynt pa ryw gynnorthwy a gawsant. A Herod yn cymmeryd gofal i wneud i'r bobl ddeall, mai oddiwrtho ei hun yr oedd yn dyfod y cymmorth hwn; efe trwy hynny nid yn unig a symmudodd ragfarn y rhai oedd o'r blaen yn ei gasbâu, ond a roddodd iddynt yr arwyddion mwyaf o'i ewyllys da. Canys yn y lle cyntaf, ymherthynas i'r rhai a allent arlwyo eu bwyd eu hunain, efe a ddosparthodd iddynt eu cyfran o'r ŷd yn y modd unionaf; ond am y rhai na allent, un ai o herwydd eu henaint neu ryw wendid arall, barottoi lluniaeth; efe a barodd i'r arlwy hwn gael ei wneuthur; sef, fod i'r pobwyr wneud eu bara yn barod iddynt. Efe hefyd a ofalodd na niweidid hwynt gan oerfel y gauaf, gan eu bod mewn eisiau mawr o ddillad, o herwydd difetha eu defaid a'u geifr; fel nad oedd ganddynt ddim gwlan i wneuthur defnydd o hono, na dim arall i orchuddio eu hunain ag ef. Ac wedi iddo gael y pethau hyn i'w ddeiliaid ei hunan, efe a aeth rhagddo ymhellach, mewn trefn i barottoi angenrheidiau i'w cymmydogion; ac a roddodd hâd i'r Syriaid; yr hyn beth a drodd yn fawr i'w fantais ei hun hefyd, wedi i'r cynnorthwy elusengar hwn gael ei gyfrannu yn dra phrydlon i'w daear ffrwythlon; fel yr oedd gan bob un yn awr arlwy digonol o ymborth. Ar y cyfan, pan oedd cynhauaf y tir yn agoshau, ni ddanfonodd ddim llai na deng mil a deugain o wŷr, y rhai a gynnaliasai, i'r wlad. Trwy ba foddion yr adferodd gyflwr cystuddiedig ei deyrnas ei hun, gyd â haelioni a diwydrwydd mawr; ac a ysgafnhaodd ar drallod ei gymmydogion, ag ydoedd tan yr un cyfyngder: canys nid oedd neb a fuasai mewn eisiau yn ymddifad o gynnorthwy cyfaddas ganddo.Ië, ymhellach, nid oedd neb rhyw bobl, dinasoedd, neu ddynion neullduol, ag oedd i wneud arlwy i'r lliaws, ac ar y cyfrif hwnnw yn sefyll mewn diffyg o gynhaliaeth, ac a aent atto ef, na dderbyniasant yr hyn a safent mewn eisiau o

* Y newyn yma am ddwy flynedd, a effeithiodd ar Judea a Syria, y 13 a'r 14 mlynedd o deyrnasiad Herod; y rhai oeddynt y 24 a'r 25 o flaen amser Cristionowgrwydd; a ymddengys ei fod yn fwy ofnadwy, yn oed yr amser hwn, na'r un hynny yn amser Jacob, Gen. xli. xlii. A'r peth sy'n gwneud y gymhariaeth yn fwy hynod yw hyn; y cymmorth ag oeddynt yn ei gael ydoedd o'r Aipht hefyd: y pryd hwnnw gan Joseph, llywodraethwr yr Aipht, tan Pharao, brenin yr Aipht: ac yn awr oddiwrth Petronius, rhaglaw yr Aipht, tan Augustus yr ymprwr Rhufeinaidd. Gwel ynghylch yr un amgylchiad, XX. 2, a'r 3. Mae hefyd yn werth ein sulw yma, mai blwyddyn sabbothol, a blwyddyn y Jubilee ydoedd y blynyddau hyn: gogyfer â pha rai yr arferai rhagluniaeth, yn amser y llywodraeth ddwyfol, yn arferol o drefnu cnydiau triphlyg iddynt yn flaenorol: ond a ddigwyddodd yn awr, pan oedd yr Iuddewon wedi colli eu hawl i'r bendithion hynny, yn flynyddoedd mwyaf o newyn er dyddiau Ahab. 1 Bren. xvii. a'r xviii.

hono: yn gymmaint ag yr ymddangosodd wrth eu cyfrif, fod cynnifer cori o wenith, o ddeg Attic medimni bob un a gyfranid i ddieithriaid, yn cyrraedd hyd yn ddeng mil: a'r nifer a ddosparthwyd yn ei deyrnas ei hun ydoedd ynghylch pedwar ugain mil. Yn awr, fe ddigwyddodd fod y gofal a'r cymmwynasrwydd prydlon hwn yn cael y fath effaith ar yr Iuddewon, ac yn cael ei ganmol mor fawr gan genedlaethau eraill, ag i sychu ymaith yr hen gasineb a barodd ei drais i rai o'u defodau yn oed ei deyrnasiad; ac a ynnillodd iddo ym mhlith yr holl genedl, trwy yr haelioni o'i gymmorth hwn yn eu mawr angen, y fath foddlonrwydd am yr hyn oll a wnaethai o'r natur hynny, ac yr ennillodd iddo hefyd glod mawr ym mysg dieithriaid. Ac fe ddangosodd fel pe buasai 'r cyfyngderau a drallododd y wlad, mewn gradd amlwg yn anghredadwy, wedi dyfod i adferyd ei fawredd, ac i fod o fantais mawr iddo. Canys ehangder ei haelioni yn y gwasgfeuon hyn, a ddangosodd yn awr tu hwnt i bob disgwyliad, a weithiodd y fath gyfnewidiad ar dymmer y lliaws tu ag atto, fel yr oeddynt yn barod i feddwl na fuasai y fath o'r dechreuad ag a brofasant ei fod; ond y cyfryw un ag oedd y gofal a gymmersai am danynt yn diwallu ei angenrheidiau yn profi yn awr ei fod.

Ynghylch yr amser hwn fe ddanfonodd bum cant o'i wŷr detholedig yn gynnorthwyadon i Cæsar; y rhai a dywysodd Elius Galus hyd y môr coch; a'r rhai a fuont iddo yno o wasanaeth mawr. Gan hynny, wedi i'w amgylchiadau y modd hwn gael eu gwella, a'u bod drachefn mewn cyflwr blodeuog, efe a adailadodd iddo ei hun balas yn y ddinas uchaf, gan godi ei ystafelloedd i uchder mawr. a'u haddurno â dodrefn tra gwerthfawr o aur, eistedd-leoedd, a gwelŷau; a'r rhai ydoedd o'r fath faintioli ag y gallent gynnwys llawer o ddynion ynghyd. Yr ystafelloedd hyn hefyd ydoedd o amryw faintioli, a chanddynt bob un enwau wedi eu rhoddi iddynt. Canys un ystafell a elwid yr eiddo Cæsar, arall Agrippa, &c. Efe hefyd a syrthiodd mewn cariad drachefn, ac a briododd wraig arall: heb oddef i'w reswm ei luddias i fyw fel yr ewyllysiai. Yr achlysur o'r briodas hon ydoedd fel y canlyn: Yr oedd un Simon, dinesydd o Jerusalem, mab Boethus, dinesydd o Alexandria, ac offeiriad urddasol: gan y gwr hwn yr ydoedd merch, yr hon a gyfrifid yn ddynes harddaf yn yr amser hwnnw. Ac wedi i bobl Jerusalem ddechrau rhoi canmoliaeth lawer iddi, digwyddodd i'r hyn a ddywedasant effeithio yn fawr ar Herod. A phan welodd y llangces, efe a saethwyd â'i thegwch hi. Etto efe yn gwbl a wrthododdd y meddyliau o ddefnyddio ei awdurdod i'w darostwng hi; gan gredu mai os gwnai hynny y nodid ef â thrais ac anghyfiawnder. Felly fe feddyliodd yn oreu gymmeryd y llangces yn wraig. A chan fod Simon o raddau rhy isel i ymgyfathrachu ag ef, ond etto yn rhy barchus i'w ddiystyru; efe a reolodd ei dueddiadau yn y modd callaf, trwy chwanegu at urddasrwydd y teulu, a'i wneud yn fwy anrhydeddus. Y ganlynol efe a ddi-swyddodd Jesus, mab Phabet o'r archoffeiriadaeth; gan roddi'r uchelfraint honno i Simon: ac felly a ymgyssylltodd ei berthynas ag ef trwy briodi ei ferch.

Pan aeth y briodas hon trosodd, Herod a adailadodd dŵr neu gastell, yn y lle y buddugoliaethodd ar yr Iuddewon, pan yrrasid ef allan o'i lywodraeth, ac y meddiannodd Antigonus hi. Pelldra y tŵr hwn o Jerusalem ydoedd ynghylch trugain o 'stadau. Yr ydoedd wrth natur yn gadarn, ac yn gymmwys i'r cyfryw adeilad. Mae'n fath o fryncyn cymhedrol, wedi ei godi i fwy uchder gan ddwylaw dyn, nes ei fod ar lun bron. Fe'i cwmpaswyd â thŷrau o amgylch, a disgynfa uniawn iddo, yr hon sy'n gynnwysedig o ddau cant o risiau o gerrig nadd. O fewn y mae 'stafelloedd harddwych a brenhinol; ac fe'i trefnwyd o'r fath waith ag a fyddai er diogelwch a chyfleustra. Ynghylch ei waelod y mae lleoedd o'r fath waith ag a dalo eu hedrych, ar amryw gyfrifon, yn gystal ag ar gyfrif y dwfr a ddygir yno o bellder, ac ar draul mawr: canys y lle ei hun sy'n ymddifad o ddwfr. Y gwastadedd o amgylch y tŵr hwn sydd lawn o adeiladau, heb fod islaw un ddinas mewn ehangder; ac â chanddo y bryn uwchlaw iddo fel math o gastell.

Ac yn awr, wedi i holl amcanion Herod

lwyddo yn ol ei obeithion, nid oedd ganddo y dychymmyg lleiaf o gyfodiad terfysgau yn ei deyrnas; oblegid ei fod yn cadw ei bobl tan ufudd-dod; yn gystal o herwydd eu hofn o hono, (canys yr ydoedd yn ddidrugaredd yngosodiad ei gospedigaethau,) ac oblegid y gofal a amlygodd tu ag attynt, yn y dull mwyaf godidog pan oeddynt tan eu cyfyngderau. Ond etto cymmerodd ofal am sicrwydd allanol ei lywodraeth, fel amddiffynfa yn erbyn ei ddeiliaid. Canys yr areithiau a wnaeth wrth y dinasoedd ydoedd hardd, a llawn o gymmwynasgarwch; ac a feithrinodd ddealltwriaeth da rhyngddo â'u llywodraethwyr, gan wneud anrhegion i bob un o honynt, i'w denu trwy hynny i fod yn fwy ffyddlon iddo; ac arfer ei duedd-rwydd mawrwych yn y fath fodd ac y sicrheid yn well ei deyrnas iddo ef; a hynny nes i'w holl achosion, ymhob ffordd, gynnyddu fwyfwy. Ond yna ei duedd mawrfrydig hwn; a'r ymddygiad gostyngedig a haelionus a arferodd tu ag at Cæsar, a'r gwŷr mwyaf yn Rhufain, a'i rhwymodd i droseddu gosodiadau ei genedl, a throi o'r neilldu amryw o'u cyfreithiau: ac wrth adeiladu dinasoedd mewn modd afradlon, a chyfodi temlau: * nid yn wir yn Judea, canys hynny ni chaniatteid: gan ei fod yn waharddedig i ni i roi anrhydedd i ddelwau, neu lun creaduriaid byw, yn ol dull y Groegiaid: ond efe a wnaeth hyn yn bennaf mewn gwledydd allan o'n terfynau ni, ac yn eu dinasoedd hwynt. Yr amddiffyniad a wnaeth am y pethau hyn wrth yr Iuddewon ydoedd, i'r cwbl gael ei wneuthur, nid o ran ei dueddiad ei hun, ond wrth orchymmynion ac annogaethau eraill, i'r diben o foddloni Cæsar, â'r Rhufeiniaid, fel pe buasai y defodau Iuddewig heb fod mor fawr yn ei olwg, ag anrhydeddu y Rhufeiniaid; tra'r ydoedd ei hun ganddo mewn golwg o hyd; ac awydd mawr ganddo i adael coffadwriaethau o'i lywodraeth i'w hiliogaeth mewn amser i ddyfod. Oddiwrth yr hyn yr ydoedd mor awyddus i adeiladu dinasoedd teg, ac yn gwario y fath swm annhraethol o arian arnynt.

Yn awr * ar ei waith yn cymmeryd sulw o le yn agos i'r mor, ag ydoedd dra chyfleus i gynnwys dinas ynddo; ac a elwid o'r blaen Tŵr Strabo: efe a ymosododd ynghylch tynnu darluniad o ddinas odidog yno; ac a wnaeth amryw adeiladau o gerrig gwynion, gyd â diwydrwydd mawr oll trosti. Efe hefyd a'i haddurnodd â phalasau mawrwych, ac anneddau helaeth i gynnwys trigolion; a'r hyn oedd y gwaith mwyaf llafurus o'r cwbl, efe a'i haddurnodd â phorthladd, ag ydoedd bob amser yn rhydd oddiwrth donnau 'r môr. Nid ydoedd lai yn ei ehangder na'r Pyraeum yn Athen; ac oedd ganddo o du 'r ddinas sefyllfa ddyblyg i'r llongau. Yr ydoedd o wneuthuriad rhagorol: a hwn ydoedd fwy hynod o herwydd ei adeiladu mewn lle ag ydoedd ynddo ei hun yn anghymmwys i'r fath adail ardderchog; eithr oedd i'w orphen â defnyddiau o fannau eraill, ac â thraul fawr. Y ddinas hon sydd â'i sefyllfa yn Phœnicia, ar y ffordd tros y môr i'r Aipht, rhwng Joppa a Dora, y rhai ydynt ddinasoedd morawl llai eu ehangder, ac yn anghymmwys i borthladdoedd, ar gyfrif rhuthredd y dedeuwynt ag sy'n curo arnynt; y rhai gan dreiglad y tywod sy'n dyfod o'r môr ynghyd â'r glennydd, ni oddefant orphwysiad llongau yn eu cyffiniau hwynt: ond y marsiandwyr yn gyffredin yno sydd yn gorfod angori yn y môr ei hun. Felly Herod a ymdrechodd i ddywygio'r anghyfleusdra hwn, ac a wnaeth y fath gwmpasiad tu ag at y tir ag a fyddai yn gymmwys o hafn neu borthladd, lle y gallai'r llongau mwyaf orwedd mewn diogelwch. A hyn a effeithiodd wrth ollwng i lawr feini mawrion uwchlaw deg a deugain troedfedd o hyd; heb fod yn llai na deunaw troedfedd o lêd, a naw o drwch, i ugain gwrhyd o ddyfndwr: ac fel yr ydoedd rhai yn llai, eraill oeddynt fwy o fesuriad. Y gronfa hon a adailadodd ar lan y môr, ydoedd ddau can troedfedd

* Gall un gymmeryd sulw yma, mai pa mor orthrymus neu afradlon bynnag oedd Herod ynddo ei hun, ac yn ei ddinasoedd Groegaidd, ym mherthynas i'r chwareuon hynny, a'r dangosiadau, a themlau, i eilunaddoliaeth, a grybwyllir, pen. 8, ac yma hefyd: etto ni allai efe ei hun ddwyn i mewn ond tra ychydig o honynt i ddinasoedd yr Iuddewon; y rhai, fel y mae Josephus yn nodi yma, ni allent, ie, y pryd hynny eu goddef hwynt; mor fawr eu sêl oeddynt tros gyfreithiau Moses, ie, tan lywodraeth mor orthrymmus a'r un yma o eiddo Herod y mwyaf.

* Bl. 22.

o led; yr hanner o ba un a wrthwynebai ffrydiad y tonnau felly, fel y cedwid allan y tonnau hynny a ruthrai arnynt, ac felly a elwid Procymacia, neu dorrwr cyntaf y tonnau: ond yr hanner arall oedd a chanddo fur arno, gyd ag amrywiol dyrau; y mwyaf o ba rai ydoedd o waith tra ardderchog, ac a elwid Drusus, oddiwrth fab-ynghyfraith Cæsar, a fu farw yn ieuangc. Yr ydoedd yno nifer mawr o fwaau-meini, lle y trigai y morwyr; gyd ag agoriad neu le i dirio, o amgylch yr holl hafn, pa un oedd rodfa dra dymunol. Ond y safn neu ddyfodfa i mewn i'r porthladd a wnaethpwyd o du'r gogledd, o ba duedd yr oedd y gwyntoedd tawelaf. A gwaelod yr holl gylch ar y llaw asswy, yn y ddyfodfa i'r porthladd, a gynhaliodd dŵr cylchgrwn, yr hwn a wnaethpwyd yn dra chadarn, mewn trefn i wrthsefyll y tonnau mwyaf nerthol: tra, ar y llaw arall, y safai dau o feini mawrion; a'r rhai hynny bob un o honynt yn fwy eu maintioli na'r tŵr ag ydoedd ar eu cyfer hwynt. Y rhai hyn a safent yn unionsyth, ac a gyd-gyssylltid. Yn awr yr oedd adeiladau oll o gwmpas yr hafn, yn wnenthuredig o'r meini teccaf; gyd â rhyw uchelfa ar ba un yr adeiladwyd teml, yr hon a welid o bellder mawr, gan y rhai a fordwyent i'r porthladd hwnnw; ac yr ydoedd ynddo ddau o luniau, neu ddelwau; un o Rufain, ac arall o Cæsar; megis ag y galwyd y ddinas ei hun Cæsarea, yr hon a wnaethpwyd hefyd o ddefnyddiau hardd, a gwaith cywrain. Iё, nid oedd llai cywreinwaith yn ymddangos yn y seleri a'r ogofeydd tan y ddaear, na'r tŷau uwchlaw iddi. Rhai o'r tyllau tan-ddaearol hyn a ddygent bethau o bellder gwastad hyd at y porthladd a'r môr, ond un o honynt a wnaed yn ŵyrdraws, ac a glymmai y lleill oll ynghyd; fel y byddai i'r gwlaw a budreddi'r heolydd gael ei ddwyn yn hwylus ymaith; ac y byddai i'r môr ei hun, ar lifeiriad y llanw oddiallan, ddyfod i'r ddinas, a'i golchi oll yn lân. Herod hefyd a adeiladodd yno chwareudŷ o waith maen; ac ar yr ystlys ddehau, y tu ôl i'r porthladd, chwareufa gwmpasog, a allai gynnwys rhifedi aneirif o bobl; a'i sefyllfa yn gyflëus i olygfa forawl. Felly y ddinas yma a orphenwyd fel hyn mewn * deuddeng mlynedd: yn oed pa amser ni fethodd y brenin fyned ym mlaen â'r gwaith, a thalu y costau oedd angenrheidiol.

## PENNOD X.

*Am Zendorus a'r Trachonitiaid; a'r cyhuddiad a ddygwyd yn erbyn Herod gan y Gadareniaid. Hefyd am y Phariseaid, yr Esseniaid, a Manahem.*

PAN adeiladodd Herod Sebaste, neu Samaria; fe amcanodd ddanfon ei feibion, Alexander ac Aristobulus, i Rufain, i fwynhau cymdeithas Cæsar. Yn ganlynol, pan ddaethant yno hwy a roesawyd yn nhŷ † Pollio, yr hwn a fawr hoffai gyfeillach Herod: ac yr oedd cennad iddynt lettŷa ymhalas Cæsar ei hun: canys efe a wnaeth dderbyniad o feibion Herod gyd â phob tiriondeb: ac a ganiattaodd i Herod roddi'r deyrnas i'r un a fynnai o'i feibion: ac, heblaw hyn i gyd, efe a roddodd Tracon iddo, a Batanea, ac Auranitis, ar yr achos canlynol. Un Zenodorus a gyflogasai yr hyn a elwid tŷ Lysanias. Ond ni foddlonodd i'w ardreth; ac efe a unodd â'r yspeilwyr ag oedd yn preswylio yn Trachones; ac felly a ynnillodd iddo ei hun elw mawr. Canys preswylwyr y lleoedd hynny a fywiolaethasant mewn dull gwallgofus, ac a yspeiliasant wlad y Damasciaid; pan nad oedd Zendorus yn eu hattal hwynt, ond yn cyfrannogi o'r ysglyfaeth a feddiannent. Yn awr, fel ag yr oedd pobl y gymmydogaeth yn dioddef yn fawr oblegid hynny, hwy a gwynfanasant wrth Varro, yr hwn ydoedd yr amser hwnnw yn rhaglaw Syria; gan erfyn arno ysgri-

* Dywedir yma am ail-adeiladaeth Cesarea, a'i haddurno mewn deuddeng mlynedd; ac yn fuan ar ol hynny mewn deg, XVI. 5. rhaid fod camgymmeriad yn un o'r lleoedd ymherthynas i'r iawn nifer; ond ym mha un, sydd yn anhawdd ei ddywedyd. Yr wyf fi yn dewis y darlleniad diweddaf; o herwydd y 13 a'r 14 o amser Herod y bu'r newyn arswydus yn Judea, yr hyn a rwystrai i lawnder fod yn ei drysorfeydd tros rai blynyddau: ac o herwydd mai yna y dechreuai yn y ddeunawfed flwyddyn, pryd y gwyddom ei fod wedi adferyd ei hun yn ddigonol i fyned ynghylch ail-adeiladu y deml.

† Y Pollio hwn, gyd â pha un yr oedd meibion Herod yn aros yn Rhufain, nid ydoedd yr un a Pollio y Pharisead, a grybwyllwyd eisoes am dano gan Josephus, pen. 1. a thrachefn yn fuan ar ol hyn, pen. 10. ond Assynius Pollio, y Rhufeinwr.

fennu at Cæsar, ynghylch yr anghyfiawnder hwn o eiddo Zenodorus. Wedi gosod y matterion hyn o flaen Cæsar, efe a ysgrifennodd yn ol at Varro am ddifetha y nyth hwnnw o eiddo'r yspeilwyr, a rhoddi'r tir i Herod: fel trwy ei ofal ef na aflonyddid y gwledydd cymmydogaethol ddim yn hwy â'r gwaith hwn o eiddo'r Trachonitiaid. Canys nid gorchwyl hawdd ydoedd eu lluddias hwynt, gan mai'r ffordd hon o yspeilio ydoedd eu cynnefin arfer; ac nid oedd ffordd arall ganddynt i ynnill eu bywioliaeth: oblegid nad oedd iddynt ddinas o'r eiddynt eu hunain, na thiroedd yn etifeddiaeth: ond yn unig rhyw ystôrdai ac ogofeydd yn y ddaear; ac yno yr oeddynt hwy a'u hanifeiliaid yn byw yn gyffredin ynghyd. Pa fodd bynnag hwy a ddyfeisiasant wneuthur llynnoedd o ddwfr, a lleoedd i ddodi i fynu eu hydau ynddynt: ac yr oeddynt yn gallu gwneud gwrthsefylliad cadarn, trwy ruthro yn ddisymmwth yn erbyn y rhai a'u haflonyddent. Canys y mynedfa i mewn i'w hogofeydd ydoedd gûl, i ba rai ni allai ond un fyned ar unwaith; a'r lleoedd oddi mewn oeddynt dra helaeth, ac yn llydan. Ond y ddaear uwch ben eu trigfannau nid ydoedd uchel, ond yn hytrach yn gydwastad â hwynt: a'r creigiau oll yn dra chelyd, ac yn anhawdd dringo arnynt oddieithr i ryw un gael ei ddwyn i'r iawn ffordd trwy gyfarwyddyd un arall. Canys nid yw y ffyrdd yma yn uniawn, ond sydd iddynt amryw dröadau. Ond pan rwystrir y dynion hyn i wneud drygau i'w cymmydogion, eu harfer yw ysglyfaethu y naill oddiar y llall: fel na fetha un math o anghyfiawnder yn eu mysg hwynt. Ond wedi i Herod dderbyn y caniattâd hwn oddiwrth Cæsar, a dyfod i'r wlad honno, efe a gafodd allan arweinwyr cyfarwydd, ac a roddodd attalfa ar eu hyspail ddrygionus, gan gael heddwch a llonyddwch i drigolion y cymmydogaethau.

Wrth hyn Zendorus a drallodwyd yn y lle cyntaf, o herwydd i'w dywysogaeth gael ei chymmeryd oddiwrtho; a hynny yn fwy am ei fod yn cynfigennu wrth Herod yr hwn a'i cawsai hi. Felly efe a aeth trosodd i Rufain i achwyn arno ef; ond a ddychwelodd yn ol yn ddi-lwyddiant. Yn awr, Agrippa, ynghylch yr amser hwn, a ddanfonasid i ddilyn Cæsar yn llywodraethiad y gwledydd tu hwnt i fôr Ionia: a Herod a gyfarfu ag pan ydoedd yn gauafu ynghylch * Mitylene; (canys buasai yn gyfaill, ac yn gydymaith neillduol iddo:) ac yna dychwelodd i Judea drachefn. Rhai hefyd o'r Gadareniaid a ddaethant yn awr at Agrippa, gan gyhuddo Herod; ond hwy a ddanfonwyd yn ol yn rhwym at y brenin heb ddim gwrandawiad. Yr Arabiaid, pa fodd bynnag, y rhai er's hir amser a ddygasant ddrwg ewyllys at lywodraeth Herod a gythruddwyd, ac ar yr amser hwnnw a gynnygiasant godi ymryson yn ei arglwyddiaethau; ac, fel y meddylient hwy, ar achos mwy cyfiawn. Canys â Zenodorus yn anobeithio eisoes am lwyddiant i'w achosion ei hun, a osododd rwystr i'w elynion, trwy werthu i'r Arabiaid hyn ran o'i dywysogaeth a elwid Auranitis, am y gwerth o ddeg talent a deugain. Ond fel yr oedd y lle hwn yn gynnwysedig yn rhodd Cæsar, hwy a ymrysonasant yn ei gylch â Herod, megis yn cael eu hanghyfiawn ddifuddio o'r hyn a brynasent. Weithiau hwy a wnaent hyn trwy ruthro i mewn i'w derfynau; weithiau trwy ymfyddino yn ei erbyn; waith arall trwy ymgyfreithio ag ef. Hwy hefyd a berswadiasant y milwyr tlodion i'w cynnorthwyo hwynt; ac a'i blinasant ef, oddiar obaith gwastadol o ddwyn y bobl i derfysg ac ymryson. Ym mha fwriadau y mae y rhai a f'o mewn amgylchiad cyfyng yn fwyaf ymdrechgar. Ac er bod Herod er's hir amser yn gwybod am y cynhygion hyn; etto ni arferodd ddim llymdra yn eu herbyn: ond trwy foddion rhesymmol efe a geisiodd esmwythau pethau, megis heb chwennych rhoddi achlysur i gythrwfl.

Yn awr † pan oedd Herod wedi teyrnasu dwy flynedd ar bymtheg, Cæsar a ddaeth i Syria: ar ba amser y rhan fwyaf o drigolion Gadara a achwynasant yn erbyn Herod; megis un yn eu beichio a'u gorthrymmu. Y gwradwyddiadau hyn yn bennaf a osodasant arno trwy annogaeth Zenodorus: yr hwn a wnaeth

* Y dinasoedd hyn, Mitylene a Gadara, sydd â'u harian i'w canfod hyd yn bresennol, fel yr hyspysir i ni yma gan Spanheim. † Bl. 21.

Iw na adawai fyth lonyddwch i Herod, nes eu hysgar hwynt oddiwrth ei deyrnas, a'u cyssylltu â thalaith Cæsar. Y Gadareniaid a ddenwyd wrth hyn, ac a wnaethant nid ychydig o gri yn ei erbyn: a hynny yn fwy hyf, oblegid y rhai a roddasid i fynu gan Agrippa, ni chospwyd hwynt gan Herod; yr hwn a adawodd iddynt fyned ymaith heb wneud niweid iddynt. Canys efe yn wir oedd yr un pennaf yn y byd, am fod yn anymbilgar wrth gospi beïau yn ei deulu ei hun; ond yn dra haelionus ym maddeuant o droseddiadau a wnaed mewn lleoedd eraill. A thra 'r oeddynt yn cyhuddo Herod o wneuthur niweid, ac yspeilio, a dadymchelyd temlau; efe a safodd yn ddiystyr o honynt, ac yn barod i wneud ei amddiffyniad. Pa fodd bynnag, Cæsar a roddodd iddo ei ddeheulaw; ac ni leihaodd ddim o'i garedigrwydd tu ag atto, trwy 'r achwyniad hwn gan y lliaws. Ac yn wir yr achwyniadau hynny a wnaethpwyd y dydd cyntaf; ond y gwrandawiad ni fu ymhellach. Canys fel ag y canfu y Gadareniaid dueddrwydd Cæsar, a'i drethwyr; ac yn disgwyl, fel yr oedd ganddynt achos i wneuthur, cael eu traddodi i fynu i'r brenin: rhai o honynt, gan ofn o'r arteithiau a ddioddefent, a dorrasant wythi eu gwaed eu hunain yn y nos; a rhai a daflasant eu hunain bendramwnwgl dros ddibyn, ac eraill a fwriasant eu hunain i'r afon, gan ddifetha eu hunain yn wirfoddol: pa ryw ddamweiniau a ymddangosasant yn ddigon o brofiad o'r byrbwylldra, a'r beïau yr oeddynt yn euog o honynt. Ar hyn ni oeddodd Cæsar yn hwy, ond a gliriodd Herod oddiwrth y beïau a gyfrifasid iddo. Damwain ddedwydd arall a ddigwyddodd, yr hon a fu o fantais fawr ymhellach y pryd hwn. Canys corph Zenodorus a dorrodd yn ageunau, a llawer o waed a ffrydiodd o hono yn ei afiechyd; ac efe trwy hynny a ymadawodd a'r bywyd hwn yn Antioch. Felly Cæsar a roddodd ei wlad i Herod. Yr ydoedd yn sefyll rhwng Tracon a Galilea; ac yn cynnwys Ulatha a Paneas, a'r ardaloedd o amgylch. Efe hefyd a'i gwnaeth yn un o ddirprwywyr Syria; ac a orchymmynodd iddynt wneud pob peth yn ol ei ordeiniad ef. Ac yn fyr, efe a gyrhaeddodd i'r fath radd o odidowgrwydd; fel pan oedd dau ŵr yn llywodraethu yr ymerodraeth Rufeinaidd; yn gyntaf Cæsar, ac yna Agrippa, yr hwn ydoedd ei brif gyfaill; ni ddewisodd Cæsar neb o flaen Herod, heblaw Agrippa: ac ni wnaeth Agrippa neb yn gyfaill mwy iddo na Herod, ond Cæsar. Ac wedi iddo gyrraedd y fath ryddid, efe a ddeisyfodd gan Cæsar swydd lywodraethol * i'w frawd Pheroras; tra 'r ydoedd ei hun yn cyfrannu iddo y deyrnged o gant o dalentau allan o'i deyrnas ei hun: fel os digwyddai ddyfod iddo ryw niweid ei hun, y byddai ei frawd yn ddiangol; ac na chai ei feibion awdurdod arno ef. Felly wedi dilyn Cæsar hyd y môr, a dychwelyd adref, efe a adeiladodd deml harddwych, o'r cerrig gwynnaf, yngwlad Zendorus, yn agos i le a elwid Panium. Ogof dra theg yw hon mewn mynydd; o dan ba un y mae gwagter mawr yn y ddaear; a'r ceudwll sydd yn serth; ac yn anferthol ddwfn, a llawn o ferwddwfr. Uwchlaw iddo y mae mynydd o fawr faintioli; a than y ceu-dylloedd y cyfyd ffynhonnau afon yr Iorddonen. Herod a addurnodd y lle hwn, pa un ydoedd eisoes yn dra hynod, trwy adeiladaeth y deml hon, a gyssegrodd efe i Cæsar.

Ar yr amser hwn Herod a ryddhaodd ei ddeiliaid oddiwrth y drydydd ran o'u trethoedd; trwy gymmeryd arno yn wir eu cymmorth ar ol y drudaniaeth a fuasai yn eu mysg: ond y rheswm pennaf ydoedd i adferyd eu hewyllys da, ag oedd yn awr mewn angen am dano. Canys yr oeddynt yn anesmwyth oblegid y pethau newyddion a ddygasai i ymarferiad yn eu mysg; ac am ddiddymiad eu crefydd, ac anymarferiad o'u defodau eu hunain. A'r bobl ym mhob man a ddywedent yn ei erbyn, fel rhai

* Swydd tetrarch, pa un a gafwyd i Pheroras, yn gyntaf a arwyddodd y bedwaredd ran o'r holl deyrnas, neu wlad; a thetrarch yn llywodraethwr y fath bedwaredd ran: yr hyn bob amser a arwydda lai helaethrwydd llywodraeth ac awdurdod nag a berthyn i deyrnas, ac i swydd brenin. Ond yr uniondeb cyntaf hwn ni lynwyd bob amser wrtho, yn ol ystyr y geiriau uchod. Ac nid yw Pliny yn cyfrif dim llai na chwech o amgylch Decapolis, fel y mae Noldius yn gwneuthur sulw. De Herod. t. d. 368. Ond fod Zenodorus unwaith yn detrarch, neu lywodraethwr Traconitis, yr ydym yn ei ddysgu oddiwrth Dio, megis y mae Spanheim yn sylwi yma. Y llywodraeth a berthynai i Pheroras ydoedd yn Perea, tu hwnt i'r Iorddonen.

ag oedd fwyfwy yn cael eu cythruddo wrth ei fynediad ym mlaen. Yn erbyn yr adfoddlonrwydd hwn, pa fodd bynnag, efe a wyliodd ei hun yn fawr, ac a symmudodd ymaith y cyfleusderau a allent gael i'w aflonyddu ef; gan eu hannog hwy i fod yn wastadol wrth eu gorchwylion. Ac ni adawodd i'r dinasyddion ymgasglu ynghyd yn dyrfa, neu rodienna, na chydfwytta; ond a wyliodd ar bob peth a wnelent; a phan ddelid neb hwy a gospid yn llym. A llawer oedd y rhai a ddygwyd i'r tŵr Hyrcynia, yn gyhoeddus ac yn ddirgel, ac a ddodwyd yno i farwolaeth. Ac yr ydoedd yspïwyr wedi eu gosod ym mhob man; yn y ddinas a'r prif-ffyrdd, ag oedd yn gwylio y rhai a gydgyfarfyddent. Ië, fe sonir, nad oedd efe ei hun yn esgeuluso y rhan yma o ocheliad; ond yr ymwisgai yn fynych fel dyn neillduol, gan ymgymmysgu ym mhlith y lliaws wrth liw nos; ac ymholi pa dybiau oedd ganddynt ynghylch ei lywodraeth. Ac am y rhai na ellid eu cael i foddloni trwy un modd i'w ffordd ef o lywodraethu, efe a'u herlidiai ym mhob dull. Ond am eraill o'r lliaws, efe a ofynnodd ganddynt ymrwymo i gymmeryd eu llwon i fod yn ffyddlon iddo: ac ar yr un pryd a'u cymmellodd i dyngu y dygent ewyllys da tu ag atto; a pharhau yn sicr i wneuthur hynny yn oed ei drefniad o'r llywodraeth. Ac yn wir rhan fawr o honynt, un ai i'w foddhau, neu rhag ofn cospedigaeth, a gydsyniasant â'r hyn a ofynnai. Ond am y rhai ag oedd o dymmer fwy rhydd a boneddigaidd, ac yn ddig oblegid y gorthrech a arferai tu ag attynt; efe trwy fodd neu gilydd a'u difethai hwynt. Ymdrechodd hefyd i berswadio Pollio y Pharisead, a Sameas, a'r rhan fwyaf o'u hysgolheigion i gymmeryd y llw. Ond nid ymostyngai y rhai hyn i wneuthur felly, ac ni chospwyd hwynt gyd ag eraill, oddiar y parch oedd ganddo i Pollio. Yr Esseniaid hefyd, megis ag y galwn un o'n sectau ni, a esgusodwyd oddiwrth yr ymrwymiad hwn. Y dynion yma sydd yn arfer yr un dull o fywiolaethu â'r rhai a eilw'r Groegiaid Pythagoreaid; ymherthynas i ba rai y traethaf yn fwy cyflawn mewn *lle arall. Pa fodd bynnag, y mae'n iawn gosod i lawr yma y rhesymmau o herwydd pa rai yr oedd yr Esseniaid yn y fath anrhydedd gan Herod; a'i fod yn meddwl yn uwch am danynt nag yr oedd eu marwol anian yn gofyn: ac ni fydd hyn yn anaddas i natur yr hanes yma; gan y dengys y tybiau oedd gan ddynion am yr Esseniaid hyn.

Yn awr yr ydoedd un o'r Esseniaid yma, enw'r hwn yw Manahem, ag iddo'r dystiolaeth hon; ei fod nid yn unig yn arwain buchedd dda, ond fod ganddo ragwybodaeth o bethau i ddyfod wedi ei roddi iddo gan Dduw. Y gwr hwn unwaith a welodd Herod pan ydoedd yn blentyn, ac yn myned i'r ysgol, ac a'i cyfarchodd megis brenin yr Iuddewon. Ond efe yn meddwl un a'i nad oedd yn ei adnabod, neu ei fod yn cellwair, a barodd iddo gydnabod nad oedd efe ond dyn cyffredin. Ond Manahem a wenodd arno, gan ei guro â'i law ar ei gefn; a dywedyd, "Pa fodd bynnag am hynny, ti a fyddi frenin, ac a ddechreui dy deyrnasiad yn ddedwyddol; canys Duw sy'n dy ystyried yn deilwng o honi. A chofia am y tarawiadau a roes Manahem arnat, fel arwydd o gyfnewidiad dy sefyllfa. Ac yn ddiau hyn a fydd yr ymresymiad goreu i ti: i garu o honot gyfiawnder tu ag at ddynion, a duwioldeb tu ag at Dduw; ynghyd ag addfwynder tu ag at dy ddinasyddion. Etto myfi a wn y modd y bydd dy holl ymddygiad; ac na fyddi y fath un ag a ddywedais. Canys ti a ragori ar bob un mewn derchafiad ac a feddianni glod diderfyn: ond ti anghofi dduwioldeb a chyfiawnder. Ac ni fydd y beiau hyn yn guddiedig oddi wrth Dduw yn niwedd dy fywyd; pan brofi y bydd efe yn eu coffâu hwynt, ac y cospir di o'u herwydd." Y pryd hwnnw ni wnaeth Herod sulw o'r hyn a ddywedodd Manahem; megis heb ganddo ddim gobaith am y fath dderchafiad. Ond yn mhen ychydig ar ol hynny, pan ydoedd mor llwyddianus a chael ei ddyrchafu i swydd frenhinol, ac uchder teyrnasiad, efe a ddanfonodd am Manahem; ac a ofynnodd iddo, pa hyd y teyrnasai? Ond Manahem ni fynegodd iddo ynghylch cyflawn hyd ei deyrnaiad. Am

* Gwel Am y Rhyfeloedd, Llyfr. II. pen 8.

hynny, ar ei ddistawrwydd, efe a ofynnodd ymhellach iddo, A deyrnasai ddeng mlynedd? Yntau a attebodd, "Gwnei, ugain, ïe ddeg ar hugain o flynyddau:" ond ni enwodd yn uniawn derfyn ei deyrnasiad. Herod a foddhawyd â'r attebiadau hyn, ac a roddodd ei law i Manahen, gan ei ollwng ymaith: ac o'r pryd hwnnw efe a barhaodd i anrhydeddu'r Esseniaid. Nyni a dybiasom yn gymmwys adrodd y pethau hyn i'n darllenwyr, pa mor ddieithr bynnag a fyddant; a gwneud yn amlwg yr hyn a ddigwyddodd yn ein plith ni: o herwydd i lawer o'r Esseniaid hyn, oblegid eu rhinweddau rhagorol, gael eu cyfrif yn deilwng o'r wybodaeth hon o ddwyfol ddatguddiedigaethau.

## PENNOD XI.

*Am ail-adeiladu a harddu'r Deml; ac am dŵr Antonia.*

YN y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad, ac ar ol y gweithredoedd a grybwyllwyd eisoes, Herod o hono ei hun a gymmerodd yn llaw ail-adeiladu * teml Dduw; gan ei helaethu yn ei chwmpasiad, a'i chodi i uchder mawr; megis yn ei gyfrif yn ardderchoccaf o'i holl weithredoedd, fel yn ddiau yr ydoedd, i'w dwyn i berffeithrwydd; ac y byddai hyn yn ddigonol i beri coffadwriaeth barhaus am dano. Ond fel y gwyddai nad oedd y lliaws barod nac ewyllysgar i gynnorthwyo yn y fath orchwyl ehang; efe a dybiodd yn addas eu parottoi iddo yn gyntaf trwy areithio wrthynt; ac yna ymosod ynghylch y gwaith ei hun. Felly efe a alwodd am danynt ynghyd, ac a lafarodd fel hyn:

"Meddyliaf nad rhaid i'm goffâu i chwi, fy nghydwladwyr, y gweithredoedd eraill a wnaethum, wedi i'm ddyfod i'r deyrnas; er y gallaf ddywedyd wneuthur o honof hwynt yn y cyfryw fodd ag i beri mwy diogelwch i chwi, na chlod i'm fy hun. O blegid ni bûm esgeulus yn yr amseroedd cyfyngaf ynghylch yr hyn a dueddai i ddiwallu eich angenrheidiau: ac ni bu'r adeiladau a wnaethum mor briodol i'm hamddiffyn fy hun, a chwychwi rhag niweid. Ac yr wyf yn dychymmygu, trwy gymmorth Duw, i'm ddyrchafu cenedl yr Iuddewon i'r radd o ddedwyddwch na phrofasant erioed o'r blaen. Ac am yr adeiladau perthynol i'ch gwlad a'ch dinasoedd eich hunain, fe ymddengys i mi yn waith afreidiol i'w henwi hwynt; megis hefyd y dinasoedd a gawsom yn ddiweddar, y rhai a ail-wnaethom, ac a addurnasom; ac wrth hynny a chwanegasom at enwogrwydd eich cenedl: ymddengys yn afreidiol i mi eu henwi, gan y gwyddoch eich hunain yn dda am danynt. Ond ymherthynas i'r gorchwyl yr wyf yn amcanu myned yn ei gylch yn bresennol, a'r hwn a fydd waith mwyaf duwiol a rhagorol ag sydd bossibl myned tano gennym, mi amlygaf am dano i chwi. Ein tadau yn wir pan ddychwelasant o Babilon, a adeiladasant y deml hon i Dduw Hollalluog: etto y mae mewn diffyg o drugain cufydd o helaethrwydd yn ei huchder: canys cymmaint a hynny yr oedd y deml gyntaf a adeiladodd Solomon yn ei ragori ar hon. Ac na feïed neb ar ein tadau, megis eu bod yn esgeulus, neu ddiffyg duwioldeb arnynt yn hyn: canys nid eu bai hwy ydoedd na fuasai'r deml yn uwch; am mai Cyrus, a Darius mab Hystaspes, a benderfynasai fesuriad ei hail-adeiladaeth. A bu mai trwy'r achos o ymostyngiad ein tadau hynny iddynt hwy a'u hiliogaeth; ac ar eu hol hwy i'r Macedoniaid, na chawsant y cyfleustra o ddilyn darluniad cyntaf yr adeilad hon. Ond gan fy mod i yn awr, trwy ewyllys Duw, yn llywodraethwr arnoch; ac yn mwynhau heddwch er's hir amser; ac yn feddiannol ar lawer o gyfoeth, a theyrnged helaeth; ac, yr hyn yw'r peth pennaf o'r cwbl, yr wyf mewn cyweithasrwydd a chymmeriad da gyd â'r Rhufeiniaid; y

* Am y deml hon o eiddo Herod, gwel fy nisgrifiad o demlau Iuddewig, yn y darluniad perthynol i'r gwaith hwn, pen. 15. Yn unig gallwn sylwi ymhellach yma, fod dychymmyg yr Iuddewon diweddar yn galw hon yn drydydd, pa un ydoedd mewn gwirionedd, yn ail deml, wedi eu dilyn cyhyd gan Gristionogion diweddar, a ymddengys i mi heb sail iddo. Y rheswm paham y mae Cristionogion yn dilyn yr Iuddewon yma ydyw, oblegid prophwydoliaeth Haggai, ii. 6---9. yr hyn y maent yn ei esponio am ddyfodiad y Messiah i'r ail deml o eiddo Zorobabel; o'r hyn y maent yn dychymmygu nad yw'r un yma o eiddo Herod ond parhad, yr hyn a feddylir, fel yr wyf yn tybied, am ei ddyfodiad i'r bedwerydd a'r olaf deml; neu i'r un ehangaf a gogoneddusaf hono, a ddesgrifir gan Ezeciel. Oddiwrth yr hyn yr wyf yn golygu y tyb cyntaf, pa mor gyffredin bynnag, yn gamsyniad mawr. Gwel Destament Benjamin, § 9. yn yr Authent. Rec. t. d. 406. a'r Cyflawniad Llyth. o'r Proph. t. d. 24. 25.

rhai, os gallaf ddywedyd felly, yw llywodraethwyr yr holl fyd: mi ymdrechaf i ddiwygio yr amherffeithrwydd hwnnw, pa un a gyfododd oddiwrth angenrheidrwydd ein hachosion, a'r caethiwed a fuom yn flaenorol tano: ac i wneuthur dychweliad diolchgar, yn y modd mwyaf difrifol, i Dduw, am y cyfryw fendithion ag a dderbyniais oddiwrtho, trwy drefnu i mi y deyrnas hon: a hyn trwy gwblhau gwaith ei deml yn y modd goreu ag a allwyf."

Yr araith hon, pa fodd bynnag, a ddychrynodd amryw o'r bobl; ac megis ei bod yn ddiddisgwyl, ac yn ymddangos yn anghredadwy, fe barodd syndod iddynt: canys ofni'r oeddynt y tynnai i lawr yr holl adeilad, ac na allai ddwyn i berffeithrwydd ei hail-adailadaeth; a'r enbydrwydd hwn a ymddangosodd yn fawr iddynt: ac ehangdra'r gwaith yn fath a'r na's gellid ond yn anhawdd ei gyflawni. Ond tra'r oeddynt o'r meddyliau hyn, dywedodd y brenin iddynt na thynnai eu teml i lawr, nes bod yr holl ddefnyddiau yn barod i'w hadeiladu i fynu drachefn, felly ni thorrodd ei air; ond a geisiodd yn barod fil o gertwyni, neu fenni pedwarolwynog, ag ydoedd i lusco cerrig at yr adeiladaeth; ac a ddewisodd allan ddeng mil o'r gweithwyr mwyaf celfyddgar; ac ynghylch mil o wiscoedd offeiriadol, i gynnifer o offeiriaid: ac a gafodd rai o honynt i ddysgu'r gelfyddyd o faen-naddwyr, ac eraill yn seiri-coed; ac yn ol hynny fe ddechreuodd adeiladu: ond nid cyn gwneuthur parodrwydd da o bob peth tu ag at y gwaith.

Felly Herod a symmudodd ymaith yr hen sylfaeni, gan osod eraill yn eu lle, ac adeiladu teml arnynt: pa un mewn hyd ydoedd gant o gufyddau, ac mewn uchder ugain o gufyddau yn chwanegiad at yr hyn ydoedd o'r blaen; yr hwn ugain, ar * suddiad y sylfeini, a syrthiodd i lawr. A'r rhan yma ydoedd yr un a ymröasom i'w chyfodi drachefn yn nyddiau Nero. Yn awr, y deml a adeiladwyd â meini gwynion a chedyrn: eu hyd ydoedd bump ar hugain o gufyddau, eu huchder yn wyth, a'u lled ynghylch deuddeg. A'r holl dŷ, megis yr ystafell-dai brenhinol o amgylch, ydoedd yn îs ar bob ochr, ond y canol ydoedd lawer yn uwch, nes eu bod yn amlwg i'r rhai a drigent yn y wlad, ystadau lawer o bellder; ond yn bennaf i'r rhai a arhosent gyferbyn â hwynt, a'r sawl a neshäent attynt. I'r deml yr ydoedd drysau hefyd, a chappau uwch eu pennau, o'r un uwchder â'r deml ei hun. Addurnwyd hwynt â llenni cyfrodedd, gyd â blodau o borphor, a cholofnau yn gydwauedig. Ac uwchlaw y rhai hyn, ond îs y coronwaith, yr oedd gwinwydden euraidd gyd â'i changhenau, yn crogi i wared o uchder mawr; maintioli a gwaith teg pa un ydoedd yn olwg rhyfedd i edrychwyr; wrth weled pa fath ddefnyddiau oedd yno; ac â pha gywreinrwydd mawr yr oedd y gweithiau wedi eu gorphen. Efe hefyd a amgylchodd yr holl deml ag ystafell-dai tra helaeth; gan eu cymhwyso yn gyfattebol â'r deml: ac efe a warriodd swmmau helaethach o arian yngwneuthuriad y rhai hynny nâ neb o'i flaen: nes ymddangos nad oedd un arall wedi addurno'r deml fel ag y gwnaethai efe. Yr ydoedd mur cadarn wrth bob un o'r ystafell-dai, yr hwn fur ydoedd anferthaf waith a glybuwyd am dano gan ddyn. Y bryn ar ba un y safai'r deml ydoedd o greigaidd esgynfa, nes dyfod i wastadedd uchelfa. Y bryn neu'r mynydd hwn ydoedd yr un ag y darfu i Solomon, yr hwn oedd y cyntaf o'n brenhinoedd ni, yr hwn a ddarfu trwy ddwyfol ddatguddiad, ei gylchynu â mur: yr ydoedd o waith rhagorol yn ei rannau uchaf, ac o amgylch ei frig. Gwnaeth fur hefyd i lawr, a'i ddechreuad yn y gwaelod, yr hwn a gylchynid ag isel bant. Ac ar y tu dehau, fe osododd feini mawrion ynghyd,

* Rhai myfyrwyr yn y gelfyddyd o adeiladaeth yn ddiweddar a gyfeiliornasant yn fawr yma; pan ddychymmygant fod Josephus yn meddwl i'r cwbl o sylfaeni'r deml, neu'r ty cyssegredig suddo i lawr i'r mynydd creiglyd, ar ba un y safodd, ddim llai nag 20 o gufyddau. Gwel Lamy de Templo, t. d. 1083. Pan y mae'n amlwg mai sylfeini yr ugain cufydd chwanegol yn unig oeddynt, uwchlaw y cant, (wedi eu gwneuthur ysgatfydd o bwrpas yn wannach, yn unig er dangosiad o wychder;) a suddodd neu syrthiodd i lawr; fel y mae Dr. Hudson yn ei iawn ddeall. Ac nid yw y peth mewn ystyr arall yn bossibl. Parottoad Agrippa i adeiladu rhannau tu-fewnol y deml, ugain cufydd yn uwch, (Han. Rhyf. V. 1.) sydd raid iddo gyd â phob tebygolrwydd gyfeirio at y matter hwn; gan fod Josephus yn dywedyd yma am yr hyn a syrthiodd i lawr, ddarfod bwriadu ei gyfodi drachefn yn amser Nero; tan yr hwn y gwnaeth Agrippa y parottoad hwnnw. Ond yr hyn a ddywed Josephus yn fuan, sef mai Solomon oedd brenin cyntaf yr Iuddewon, a ymddengys oddiwrth gyffelyb le, XX. 9. ynghyd â mannau eraill, ei fod yn unig yn meddwl, y cyntaf o hiliogaeth Dafydd, ac adeiladydd cyntaf y deml.

gan eu cyssylltu â'u gilydd â phlwm: a chynhwysodd rai o'r rhannau tu-fewnol nes ei fyned i uchder mawr; ac nes oedd maintioli yr adeilad bedair-ongledd, a'i huchder yn anrhaethadwy: ac hyd onid oedd rhyfedd faintioli y meini ar y tu-wyneb i'w gweled yn amlwg oddi allan: etto felly, fel ag yr oeddynt wedi eu sicrhau o mewn â heiyrn; i gadw y cyssylltiadau yn ansigledig tros oesoedd i ddyfod. Wedi i'r gwaith yn unol â'r sylfeini gael ei orphen yn y modd hwn, a'i gyd-gyssylltu megis rhan o'r mynydd ei hun hyd ei frig; efe a'i gweithiodd oll i un arwynebiad yn allanol; gan lenwi i fynu y mannau gweigion oedd o amgylch y mur; ac a'i gwnaeth yn gyd-wastad yn ei arwynebiad allanol, ac yn llyfn hefyd. Y mynydd hwn a furid oll o amgylch, ac mewn cwmpas yn bedwar o stadau. Ond o fewn i'r mur hwn ac ar frig y cwbl, fe redai mur arall o feini hefyd; a chanddo o du'r dwyrain ystafell-dy dwbl, o'r un hyd â'r mur: ynghanol pa un hefyd yr oedd y deml ei hun. Yr ystafell-dy hwn a edrychai tu â phyrth y deml: ac a addurnid gan amryw frenhinoedd mewn amserau gynt. Ac o amgylch ogylch yr holl deml y gosodid yr yspail a gymmerid oddiar genedlaethau barbaraidd. Yr holl bethau hyn a gyssegrasid i'r deml gan Herod; gyd â chwanegiad o'r hyn a gymmerasai oddiar yr Arabiaid.

Yn awr ar du gogledd y deml yr adeiladwyd tŵr neu gastell; muriau pa un ydoedd bedwar-ongl, yn gryf, ac o gadernid rhagorol. Y twr hwn a adeiladasid gan y brenhinoedd o hil yr Asmoneaid; y rhai hefyd oeddynt archoffeiriaid o flaen Herod: a hwy a'i galwasant Y tŵr, ym mha un y cedwid gwisgoedd yr archoffeiriad, pa rai a ddodai am dano yn unig ar yr amser yr ydoedd yn offrymmu aberthau. Y gwisgiadau hyn a roddodd y brenin i'w cadw yn y lle hwnnw: ac ar ol ei farwolaeth ef yr oeddynt tan awdurdod y Rhufeiniaid, hyd amser Tiberius Cæsar. Tan deyrnasiad pa un Vitellius, rhaglaw Syria, pan ddaeth unwaith i Jerusalem, a'i dderbyn mewn modd mawrwych gan y lliaws, meddyliodd wneuthur rhyw daliad iddynt am y caredigrwydd a ddangosent iddo. Felly ar eu deisyfiad o gael y gwisgoedd cyssegredig yma tan eu llywodraeth eu hunain, efe a ysgrifennodd mewn perthynas iddynt at Tiberius Cæsar, yr hwn a * ganiattaodd ei ofyniad. A'r awdurdod yma ar eu gwisgoedd offeiriadol a barhaodd hyd farwolaeth Agrippa. Ond ar ol hynny, Cassius Longinus, yr hwn ydoedd raglaw Syria, a Cuspius Fadus, goruchwyliwr Judea, a archasant yr Iuddewon i ddodi y gwisgoedd hynny yn nhŵr Antonia: am y dylent hwy eu cael tan eu hawdurdod, megis yr oeddynt gynt. Pa fodd bynnag yr Iuddewon a ddanfonasant genhadwyr at Claudius Cæsar, i eiriol trostynt ag ef. Ar ddyfodiad pa un, y brenin Agrippa ieuangc ydoedd y pryd hynny yn Rhufain, yr hwn a ofynnodd am, ac a gafodd lywodraeth arnynt gan yr ymerawdr: yr hwn a orchymmynodd i Vittellius, llywodraethwr Syria, i'w traddodi iddynt yn ganlynol. O flaen yr amser hwnnw hwy a gedwid tan ofal yr archoffeiriad, a thrysorwyr y deml: pa ryw drysorwyr, y dydd o flaen yr ŵyl, a aent i fynu at y cadben Rhufeinig, ar warchawdlu'r deml; ac wedi edrych eu sel eu hunain, hwy a dderbynient y gwisgoedd. A thrachefn wedi i'r ŵyl fyned trosodd, hwy a'u dygent i'r un lle, ac a ddangosent i gadben y gwarchawdlu eu sel, ag ydoedd yn cyfatteb i'r eiddo ei hun, ac a'u gosodai yno drachefn. A bod y pethau hyn felly, y blinderau a ddaeth arnom wedi hynny o'u plegid ydoedd brawf digonol. Ond am y tŵr ei hun, wedi i Herod, frenin Israel ei ymddiffyn yn fwy cadarn nag o'r blaen, mewn trefn i fod yn ddiogelwch ac yn wyliadwriaeth i'r deml; fe foddlonodd Antonius yr hwn oedd ei brif gyfaill, ac yn llywodraethwr Rhufain; ac yna fe roddodd i'r adeilad yma yr enw o dŵr Antonia.

Yn awr, ar du gorllewin amgylchedd y deml yr ydoedd pedwar porth. Y cyntaf oedd yn arwain at dŷ'r brenin, ac yn myned i dramwyfa tros ddyffryn gerllaw iddo: dau eraill a arweinient i'r maesdrefi; a'r llall oedd yn arwain i'r ddinas arall, lle y disgynai y ffordd i wared i'r dyffryn ar hyd nifer mawr o risiau, ac yna i fynu drachefn i riw neu esgynfa. Canys y ddinas a

* Gwel Llyfr. XVIII. pen 4.

safai gyferbyn a'r deml, mewn modd tebygol i chwareufa; ac a amgylchynid gan bantle neu gwm dwfn, ar yr holl du deheuol. Ond pedwerydd wynebdu y deml, pa un oedd ddeheuol, ydoedd yn wir ag iddo ei hun* byrth yn ei ganol; megis hefyd yr oedd ganddo ystafell-dai brenhinol, gyd â thair o rodfeydd, y rhai a gyrhaeddent mewn hyd o'r pantle dwyreiniol i'r un hwnnw o du 'r gorllewin: canys yr oedd yn ammhossibl iddo gyrraedd ymhellach. A'r ystafelldy hwn a haeddai ei grybwyll yn fwy nag un arall tan yr haul. Canys pan oedd y cwm neu 'r pantle yn dra dwfn, ac na welid ei waelod, pan edrychid oddifynu i'w ddyfnder; syfyllfa 'r ystafelldy ydoedd ar yr uchelfa ddyrchafedig honno: yn gymmaint a phan edrychai un i lawr oddiar y canllawiau, neu o bob un o'r uchderau hyn, fe ddeuai arno ben-syfrdandod, pan na's gallai ei olwg gyrraedd i'r fath anfesuredig ddyfnder. I'r ystafell-dy hwn yr oedd colofnau a safent yn bedair rhes; y naill o hyd gogyfer a'r llall; canys y bedwerydd res ydoedd wedi ei chyd-blethu i'r mur, yr hwn hefyd a wnaed o feini. A phraffder pob un o'r colofnau ydoedd gymmaint ag a allai tri o ddynion, gyd â'u breichiau ar led, gyrhaeddyd o'u hamgylch; pan oedd hefyd eu hyd yn saith droedfedd ar hugain, ac yn ddwbl droiog tu a'u gwaelodion. A nifer yr holl golofnau yn y cyntedd hwnnw ydoedd gant a dau a thrugain. Eu penynau a addurnwyd â cherfiadau yn ol dull y Corinthiaid; ac a barasant syndod i edrychwyr o achos eu cywreinrwydd.

Y pedair rhes yma o golofnau a gynhwysent wagle i rodio yn y canol rhyngddynt trwy'r ystafell-dy hwn: dwy o ba rodfeydd a wnaed yn gyfattebol i'w gilydd, ac a ddarluniwyd yn yr un drefn: lled pob un o ba rai ydoedd ddeg troedfedd ar hugain; eu hyd yn un 'stâd; a'u huchder yn ddeg a deugain o droedfeddau. Ond lled y canol-le yn yr ystafell-dy ydoedd un a hanner o led y lleill; a'r uchder ydoedd yn ddwbl; canys yr ydoedd yn llawer uwch na'r rhai hynny ar bob ochr. Ond y cronglwydydd a addurnwyd â cherfiadau dwfn ar goed o amryw luniau. Y canol ydoedd lawer uwch na mannau eraill. A phared yr wynebdu a addurnwyd â thylathau, yn gorphwys ar golofnau wedi eu cydblethu iddo. A'r wyneb du hwnnw oedd oll o gerrig nadd wedi eu llyfnhau; fel ag yr oedd ei harddwch yngolwg pawb na'i gwelodd yn anghredadwy, ac i'r fath a'i gwelodd yr ydoedd yn anhraethadwy ryfedd. Fel hyn yr oedd y prif gyntedd. Ynghanol pa un, ac nid ym mhell oddiwrtho, yr ydoedd yr ail; i ba un yr aed i fynu ar hyd ychydig risiau. Hwn a amgylchynid â mur cerrig, yn wahaniad: gyd ag argraph, yr hwn oedd yn gwahardd i neb dieithr fyned i mewn iddo tan boen marwolaeth. Yn awr, y lle tufewnol yma, ydoedd a chanddo ar ei du deheuol a gogleddol dri o ddorau o gydradd bellder oddiwrth eu gilydd. Ond o du 'r dwyrain, tu a chodiad haul, yr ydoedd un porth ehang; trwy ba un y rhai oedd wedi eu puro a ddeuent i mewn, ynghyd a'u gwragedd: ond y deml bellaf o fewn i'r porth hwnnw, ni adewid i ferched fyned iddo: ac etto ymhellach i mewn yr oedd trydydd gyntedd teml; i ba un nid oedd gyfreithlon i neb fyned ond yr offeiriaid yn unig. Y deml ei hun ydoedd o fewn hwn: ac o flaen y deml honno yr ydoedd yr allor; ar ba un yr ydym yn offrymmu ein haberthau a'n poeth-offrymmau i Dduw. Nid aeth Herod i mewn i † un o'r tri yma; yr hyn a waharddwyd iddo am nad oedd yn offeiriad. Pa fodd bynnag, cymmerodd ofal am yr ystafelldai, a'r cynteddau oddiallan; a'r rhai hyn a adeiladodd mewn wyth mlynedd.

Ond y deml ei hun a adeiladwyd gan yr offeiriaid mewn blwyddyn a chwe mis: ar yr hyn yr oedd yr holl bobl yn llawenhau; ac yn y lle cyntaf a ddychwelasant ddiolch i Dduw; ac yna am y sirioldeb a ddangosasai'r brenin. Gwleddasant a chadwasant ŵyl ar yr ailadeilad hwn o'r deml. A'r brenin a aberthodd dri chant o ychain i Dduw; megis ag y darfu i eraill bob un

* Rhifedi y pyrth hyn sydd yn eisiau.

† Nid aeth Herod i mewn i un o'r tri hyn: 1. Nid aeth i gyntedd yr offeiriaid. 2. Nac i'r tŷ cyssegredig ei hun. 3. Nac i'r gwahan-le, perthynol i'r allor, fel yr arwydda y geiriau canlynol: canys ni allai neb ond yr offeiriaid, a'u swyddwyr y Lefiaid, fyned i mewn i un o honynt. Gwel XVI. 4. Lle y mae Herod yn myned i mewn i'r deml, ac yn areithio ynddo wrth y bobl: eithr ni allai hynny fod ond i gyntedd yr Israeliaid; lle y gallai y bobl ddyfod atto ef.

yn ol ei allu. Y nifer o ba ryw aberthau nid yw bossibl eu nodi i lawr, canys ni allwn ei adrodd yn gywir. Canys ar un amser ag y cynhaliwyd gŵyl am adeiladaeth y deml, y syrthiodd hefyd ei sefydliad yn y frenhiniaeth: yr hwn gyd-gyfarfyddiad o bob un a'i gwnaeth yn wyl dra ardderchog.

Gwnaethpwyd hefyd dramwyfa ddirgel i'r brenin; ag oedd yn arwain o Antonia i'r deml nesaf i mewn, trwy ei phorth dwyreiniol. Uwch pa un yr adeiladodd iddo ei hun hefyd dŵr, fel y byddai ganddo'r cyfleustra o ffordd dan-ddaearol i'r deml; mewn trefn i fod yn wyliadwrus rhag un math o derfysg a ellid ei wneuthur gan y bobl yn erbyn eu brenhinoedd. * Adroddir hefyd, yn oed yr amser yr adeiladwyd y deml na wlawiodd yn y dydd, ond ddarfod i'r cawodydd ddisgyn i lawr yn unig yn y nos; fel na luddiasid y gwaith rhag myned ym mlaen. A hyn a draddododd ein tadau i ni. Ac nid yw hyn yn anghredadwy; os edrych neb ar amlygiadau eraill o ffafr Duw. Ac fel hyn y cyflawnwyd gwaith ail-adeilad y deml.

# LLYFR XVI.

*Yn cynnwys Amseriad o Ddeuddeng Mlynedd.*

O ORPHENIAD Y DEML GAN HEROD, HYD FARWOLAETH ALEXANDER AC ARISTOBULUS.

## PENNOD I.

*Am Gyfraith a osodwyd allan gan Herod yn erbyn Lladron; ac am enllib a gyfodwyd yn erbyn Alexander ac Aristobulus, ar eu dychweliad o Rufain, gan Salome a Pheroras.*

FEL ag yr oedd y brenin Herod yn dwyn sel yngweinyddiad ei lywodraeth, ac yn ewyllysio rhoi attalfa ar bob gweithred neillduol o anghyfiawnder, y rhai a wnaed gan ddrwgweithredwyr o amgylch y ddinas a'r wlad; efe a wnaeth † gyfraith, nad oedd yn cyfatteb mewn un modd i'n cyfreithiau blaenorol ni; a'r hon a osododd allan ei hun, i orddiwes torrwyr i mewn i anneddau, a'u hanfoniad allan o'r deyrnas. Y gospedigaeth hon ydoedd nid yn unig yn ofidus i'w goddef gan y troseddwyr, ond yn cynnwys ynddi ryddhad oddiwrth ddefodau ein hynafiaid. Oblegid y caethiwed hwn i ddieithriaid, a'r cyfryw nad oedd yn byw yn ol dull yr Iuddewon; a'r angenrheidrwydd a oeddynt tano i wneuthur pa beth bynnag a orchymmynai y fath ddynion, ydoedd droseddiad yn erbyn ein sefydliad crefyddol ni, yn hytrach na chospedigaeth ar y rhai a gafwyd yn droseddwyr; a'r fath gosp a ochelid gan ein cyfreithiau ni. Canys y cyfreithiau hynny a ordeiniant, fod i'r lleidr wneud adferiad yn bedwar plyg; ac os na fydd ganddo gymmaint, bod iddo ei hun gael ei werthu, ond nid i ddieithriaid; nac yn y fath fodd ag i fod tan gaethiwed parhaus: canys rhaid ydoedd ei ryddhau yn ol chwe blynedd. Ond y gyfraith yma wedi ei dodi allan yn y modd hwn, mewn trefn i ddwyn i mewn gospedigaeth lem ac anghyfreithlon, a ymddangosodd yn ddarn o drahausdra yn Herod; pan na weithredai megis brenin, ond fel gorthrymmwr; ac fel hyn yn ddiystyrllyd, ac heb barch i'w

* Y traddodiad hwn, a grybwylla Josephus yma, megis wedi ei draddodi i lawr oddiwrth dadau i'w plant, ynghylch yr amgylchiad neillduol hynod perthynol i adeilad teml Herod, ydoedd yn amlygrwydd i fod y cyfryw adeiladaeth yn beth adnabyddus yn Judea yn ei amser ef. Efe a annesid 46 o flynyddau yn unig ar ol ei gorphen: ac a allai ei hun weled ac ymddiddan â rhai o'r adeiladwyr, ac â nifer mawr o rai a edrychasant ar ei gwneuthuriad.

† Hon a ymddengys yn gyfraith gyntaf a gymmeryd yn llaw i osod allan gan un brenin Iuddewig, heb fod yn eilun-addolwr.

ddeiliaid, yr anturiai ddwyn i mewn y fath gospedigaeth. Yn awr y gosp hon, wedi ei dwyn felly i'w hymarfer, ydoedd gyffelyb i weithredoedd eraill Herod; ac a ddaeth yn rhan o achwyniad arno, ac yn achlysur i'r casineb yr oedd yn aros tano.

Ynghylch yr amser hwn efe a fordwyodd i Itali; ac â dymuniad mawr ganddo i gyfarfod Cæsar, ac i weled ei feibion oedd yn Rhufain. A Cæsar ydoedd nid yn unig yn dra charedig iddo mewn perthynas i bethau eraill; ond a roddodd ei feibion iddo drachefn, fel y cymmerai hwynt adref gyd ag ef; megis eu bod eisoes wedi gorphen eu dysgeidiaeth yn y celfyddydau. Ond cyn gynted ag y daeth y gwŷr ieuangc o Itali, yr oedd y lliaws yn mawr ewyllysio eu gweled hwynt; a hwy a amlygwyd iddynt oll; wedi eu haddurno â mawr ddaioni rhagluniaeth, ac â chanddynt wedd dynion o raddau brenhinol. Felly hwy yn fuan a ymddangosasant yn wrthrychau o gynfigen i Salome, chwaer y brenin, ac i'r rhai a godasant enllibiau yn erbyn Mariamne. Canys yr oeddynt yn golygu pan ddeuent i'r llywodraeth, y cospid hwynt am y drygioni a fuasent yn euog o hono yn erbyn eu mam. Felly hwy a wnaethant yr ofn hwn yn achos o godi enllibiau yn eu herbyn hwynt hefyd. Rhoddasant air allan nad oeddynt yn boddloni i gwmpeini eu tad, o herwydd dodi o hono eu mam i farwolaeth; megis heb gyfrif ei fod yn gyttûn â duwioldeb i ymddangos yn gyfeillgar a mwrddrwr eu mam. Yn awr, trwy ddwyn gyd a hwynt yr adroddiad hwn, ag ydoedd yn ddiau a sail wirioneddol iddynt o ran ei sylwedd, ond a adeiladwyd yn unig ar ddychymmyg mewn perthynas i'r cyhuddiad presennol, gallasant wneuthur niweid iddynt; a pheri i Herod gymmeryd ymaith y caredigrwydd oedd ganddo tu ag at ei feibion, yr hwn a ddangosasai o'r blaen iddynt. Canys ni ddywedasant y pethau hyn wrtho yn gyhoeddus; ond a daenasant ar led y fath eiriau ym mysg y lliaws. Oddiwrth ba eiriau, pan ddygwyd hwynt at Herod, efe a yrrwyd o'r diwedd i'w casau: yr hyn nid oedd serch naturiol ei hun, ym mhen amser, yn alluog i'w wrthsefyll. Etto 'r oedd y brenin y pryd hwnnw mewn cyflwr i wneud dewisiad o serch naturiol tad, o flaen yr holl ddrwg-dybiau a'r enllibiau yr oedd ei feibion yn gorwedd tanynt. Felly efe a'u parchodd fel y dylasai wneuthur; ac a'u priododd â gwragedd, wedi myned yn awr i oedran cyfaddas i hynny. I Aristobulus fe roddodd yn wraig Bernice, merch Salome; ac i Alexander, Glaphyra, merch Archelaus, brenin Cappadocia.

## PENNOD II.

*Agrippa, ar ddymuniad Herod, yn ymweled â Judea; ac yn ol hynny, ar achwyniad yr Iuddewon yn Ionia yn erbyn y Groegiaid, yn cadarnhau iddynt eu Rhagorfreintiau.*

WEDI i Herod ddibennu y matterion hyn, a deall fod Marcus Agrippa yn mordwyo drachefn o Itali i Asia, efe a fryssiodd i gyfarfod ag ef: ac a attolygodd iddo ddyfod i'w deyrnas, a chyfrannogi o'r hyn a allai yn gyfiawn ei ddisgwyl oddiwrth un a gawsai ei roesawi ganddo ef, ac ydoedd yn gyfaill iddo. Yn ei ofyniad hwn efe a fu daer, ac Agrippa a gydsyniodd ag ef, ac a ddaeth i Judea. Ar hyn ni adawodd Herod ddim yn ol a allai ei foddhau ef. Efe a'i croesawodd ef yn ei ddinasoedd newyddion, ac a ddangosodd iddo yr adeiladau a wnaethai: ac a arlwyodd bob math o ddanteithion gwerthfawroccaf iddo ef a'i gyfeillion: a hynny yn Sebaste a Cæsarea, ynghylch y porthladd hwnnw a adeiladasai efe: ac yn yr amddiffynfeydd a wnaethai ar draul fawr, Alexandrium, Herodium, a Hyrcania. Efe hefyd a'i dygodd i ddinas Jerusalem; lle y cyfarfu yr holl bobl ag ef yn eu gwyl-wisgoedd, ac a'i derbyniasant gyd â bloddest. Agrippa hefyd a offrymmodd i Dduw aberth o gant o anifeiliaid, ac a wleddodd y bobl, heb adael yn ol y danteithion mwyaf treulfawr a ellid eu pwrcasu. Efe hefyd a gafodd y fath hyfrydwch yno, fel yr arhosodd amryw ddyddiau gyd â hwynt; ac a arosasai'n hwy yn ewyllysgar; ond bod y tymmor o'r flwyddyn yn peri iddo brysuro i fyned ymaith. Canys fel yr oedd y gauaf ar ddyfod ym mlaen, meddyliodd

na allai gyd â diogelwch fyned i forio yn ddiweddarach; ac etto yr ydoedd tan angenrheidrwydd i ddychwelyd i Ionia.

Felly Agrippa a aeth ymaith,* wedi i Herod wneuthur iddo ef, a'r pennaethiaid oedd gyd ag ef, lawer o anrhegion. Ond y brenin Herod wedi treulio'r gauaf yn ei deyrnas ei hun; a wnaeth frys i fyned atto drachefn yn wyneb y flwyddyn; pa amser y gwyddai ei fod yn bwriadu myned i ryfela yn Bosphorus. Felly wedi mordwyo o hono heibio i Rhodes a Cos, efe a gyffyrddodd â Lesbos, gan feddwl y goddiweddai Agrippa yno: ond efe a wrthwynebwyd gan ogledd-wynt, yr hwn a rwystrodd y llong rhag myned i'r lann. Felly fe arhosodd amryw ddyddiau yn Chios: ac yno efe a roesawodd yn garedig, amryw rai a ddaethant atto; ac a'u gwnaeth yn rhwymedig iddo, trwy gyfrannu iddynt amryw roddion brenhinol. A phan ganfu borthfa'r ddinas, wedi syrthio i lawr; yr hwn megis ei dadymchwelasid yn y rhyfel â Mithridates, ac a ydoedd yn adeilad hardd ac ehang; felly nid oedd mor hawdd ei adnewyddu â'r adeiladau eraill: etto efe a roddodd swm ddigonol tu ag at orphen yr adeilad hwnnw: gan orchymmyn nad edrychent heibio eu rhodfa golofnog, ond ei hail-adeiladu yn ebrwydd, fel y byddai i'r ddinas wrth hynny adferyd ei harddwch blaenorol. Ac wedi gostegu y gwyntoedd uchel, efe a fordwyodd i Mitylene, ac oddiyno i Byzantium: ac yn ol clywed o hono fod Agrippa wedi mordwyo i'r tu hwnt i greigiau Cyanean, efe a wnaeth y brys mwyaf ag oedd bossibl i'w oddiweddyd ef; ac a ddaeth o hyd iddo ynghylch Synope, yn Pontus. Gwelwyd ef yn mordwyo tu ag attynt gan y morwyr gyd â llawenydd mawr: a llawer o gyfarchiadau cyfeillgar a gymmerodd le rhyngddynt. Yn gymmaint ag i Agrippa gyfrif ei fod wedi cael y nodau amlyccaf o garedigrwydd y brenin tu ag atto, gan ddyfod o hono ar fordaith mor bell, ac ar amser mor gyfaddas i'w gynnorthwyo; a gadael llywodraethiad ei deyrnas ei hun, a thybied yn fwy gwerth ei amser i ddyfod atto ef. Yn ganlynol, Herod ydoedd oll yn oll i Agrippa yn nhrefniad y rhyfel; ac yn gynnorthwy mawr mewn achosion gwladwriaethol, a chyfrannu cyngor mewn pethau neillduol. Yr ydoedd hefyd yn gydymaith diddanol iddo, pan ymollyngai efe ei hun i lwfrhad; ac yn gydgyfrannog ag ef o bob peth: mewn trallodion, oblegid ei ffyddlondeb; ac mewn llwyddiant, o herwydd y parch oedd gan Agrippa iddo.

Yn awr, cyn gynted ag y darfu i'r achosion yma ymherthynas i Pontus ddiweddu, ar gyfrif yr hyn yr anfonwyd Agrippa yno, ni thybiasant yn gymmwys ddychwelyd trwy fordwyad, ond a dramwyasant trwy Paphlagonia a Cappadocia; yna y teithiasant trwy Phrygia fwyaf, ac a ddaethant i Ephesus; ac a foriasant o Ephesus i Samos. Ac yn wir y brenin a gyfrannodd lawer o roddion ym mhob dinas ag y daeth iddi, megis ag yr oeddynt mewn angen o honynt. Canys am y rhai oedd mewn diffyg o arian, neu gymmwynas arall, nid ydoedd ddiffygiol tu ag attynt; ond a ddiwallodd y rhai cyntaf ar ei gost ei hun; a daeth hefyd yn eiriolwr gyd ag Agrippa tros y rhai oll a geisient ei ffafr: ac efe a ddygodd bethau yn y fath fodd o amgylch, fel na fethai'r deisyfwyr lwyddo yn eu hymgais; ag Agrippa ei hun o duedd gymmwynasol, a haelioni mawr; ac yn barod i ganiattâu y fath ddeisyfiadau ag a fyddai er llesâd y gofynwyr, trwy na byddai er drwg i eraill. Gogwyddiad y brenin hefyd ydoedd o bwys mawr, ac a gynhyrfai Agrippa yn fwy, yr hwn ei hun oedd barod i wneuthur daioni. Canys efe a wnaeth gymmod rhwng pobl Ilium, wrth ba rai yr ydoedd yn ddig; ac a dalodd pa ryw swm o arian oedd ddyledus ar bobl Chios i raglawiaid Cæsar, gan eu rhyddhau odditan faich eu teyrnged; ac a gynnorthwyodd bawb eraill, yn ol eu hamrywiol angenrheidiau.

Ond pan oedd Agrippa a Herod † yn Ionia, lliaws mawr o Iuddewon, ag oedd yn preswylio yn eu dinasoedd, a ddaethant attynt: a chan gofleidio'r cyfleusdra a'r rhyddid oedd yn awr ganddynt, hwy a osodasant o'u blaen y cam

* Bl. 14.

† Yn ynys Lebos.

neu'r niweid yr oeddynt yn ei ddioddef; trwy ballu caniattâd iddynt i arfer eu cyfreithiau eu hunain: ond a'u cymmhellid i wneud defnydd o'u cwynion-cyfreithiol, o achos cam-ddefnydd eu barnwyr o'u diwrnodiau gwylion: gan eu difuddio o'r arian a drysorent i fynu yn Jerusalem; gan eu rhwymo i fyned tan arfau, ac i'r fath swyddau eraill ag oedd yn achos iddynt dreulio eu meddiannau: oddiwrth ba ryw feichiau yr arferent gael eu hesgusodi gan y Rhufeiniaid; y rhai a ganiattasant iddynt bob amser fyw yn ol eu cyfreithiau eu hunain. Pan wnaethpwyd yr achwyniaeth hon, dymunodd y brenin ar Agrippa fod iddo ef wrando eu hachos, ac a appwyntiodd Nicolaus, un o'u cymdeithion, i ddadleu tros eu rhagorfreintiau. Yn ganlynol, wedi i Agrippa alw pennaethiaid y Rhufeiniaid ynghyd, a'r cyfryw o'r brenhinoedd a'r llywiawdwyr ag oedd yno i fod yn farnwyr, Nicolaus a safodd i fynu, ac a ddadleuodd tros yr Iuddewon, fel y canlyn.

"Y mae o angenrheidrwydd yn gorwedd ar y rhai fyddo mewn gorthrymder, i wneud eu cwyn wrth rai a fyddo yn eu gallu eu rhyddhau o'r caethiwed y maent wedi eu darostwng tano. Ac am y rhai sydd yn awr yn achwynwyr, y maent yn agoshau attoch gyd â hyder mawr. Canys fel y darfu iddynt gynt fwynhau eich ffafr cyn belled ag y chwennychasant; maent yn awr yn erfyn ar i chwi y rhai a'u cyfrannodd, amddiffyn y breintiau a ganiattasoch iddynt, fel na chymmerer hwynt oddiwrthynt. Derbyniasom y ffafrion hyn gennych chwi oedd yn unig a gallu i'w cyfrannu hwynt: ond y maent yn cael eu cymmeryd oddiwrthym gan rai nad ydynt fwy na ni ein hunain; a chan rai a wyddom nad ydynt megis ninnau ond deiliaid. Ac yn sicr os caniattawyd ffafr fawr i ni, hynny sydd er ein clod y rhai a'i mwynhasom, megis ein bod yn ei haeddu. A phe byddai'r doniau hyn ond bychain, cyfrifid y cyfranwyr o honynt yn farbaraidd, pe na chadarnhaent hwynt. Ac am y rhai sydd yn rhwystr i'r Iuddewon, ac yn eu gwaradwyddo hwynt, mae'n amlwg eu bod yn digio'r derbynwyr, pan na addefant y rhai hynny yn ddynion o barch, i ba rai y darfu i'w llywiawdwyr ardderchog eu hunain ddwyn tystiolaeth: a'r cyfranwyr, tra y deisyfir ganddynt y breintiau hyn, a allant eu tynnu ymaith. Yn awr pe gofynnai rhyw un i'r cenhedloedd hyn, pa un o ddau beth a ewyllysient ymadael â hwynt; eu bywydau, neu ddefodau eu hynafiaid; eu haberthau, uchel-ŵyliau, a'u haddoliad, y rhai a arferent ymberthynas i rai a dybient hwy yn dduwiau? Gwn yn dda ddigon, y dewisent ddioddef unrhyw beth, yn hytrach na chael eu difuddio o ddefodau eu hynafiaid: canys llawer o honynt a ddewisasant fyned i ryfel ar y cyfrif hwnnw; megis yn mawr chwennychu na throseddent yn yr achos hynny. Ac yn wir, yr ydym yn cymmeryd mesuriad o'r dedwyddwch ag y mae holl ddynolryw yn awr yn ei fwynhau trwy 'r moddion o honoch chwi, oddiwrth y peth hwn: ei fod yn cael ei caniattau i ni bob un i addoli yn ol ein gosodiadau ein hunain, ac etto i fyw mewn heddwch. Ac er na fynnent gael eu trin eu hunain y modd hwn, etto y maent yn ymdrechu i gymmell eraill i gydsynio â hwynt: megis pe na byddai yn gymmaint siampl o ddidduwiaeth trwy ddiddymmu gosodedigaethau crefyddol eraill, ag i esgeuluso gwneuthur sulw o'r eiddynt eu hunain tu ag at eu duwiau. Ac ystyriwn yn awr un o'r arferiadau hyn. A oes unrhyw bobl, dinas, neu gorph o ddynion, i ba rai nid yw eich llywodraeth, ynghyd â'r awdurdod Rufeinaidd, yn ymddangos yn fwyaf o fendithion? A oes neb a all ddymuno diddymiad o'r breintiau a ganiattasant? Nid oes un yn sicr mor wallgofus: canys nid oes neb dynion a'r na wnaethpwyd yn gyfrannogion o'u ffafr yn gyhoedd ac yn neillduol. Ac yn wir y rhai a gymmerant ymaith yr hyn a ganiattasoch chwi, ni allant fod yn sicr na chymmerir ymaith bob ffafr a ganiattawyd oddi arnynt hwythau hefyd: pa ryw ganiattâd neu gydsyniad gennych chwi ni ellir yn hawdd ddodi gwerth arno. Canys os ystyriant yr hen lywodraethau tan frenhinoedd, gan eu cydmaru â'ch llywodraeth bresennol chwi: heblaw y nifer mawr o freintiau a drefnodd y llywodraeth hon iddynt ar eu happusrwydd; hyn sydd yn lle y lleill i gyd, ei fod yn ymddan-

gos nad ydynt ddim hwy mewn cyflwr o gaethiwed, ond o ryddid. Yn awr, y rhagorfreintiau yr ydym ni yn eu dymuno, ïe pan ydym yn yr amgylchiad goreu, nid ydynt y cyfryw ag a ddylid cynfigennu wrthynt. Canys yr ydym ni yn wir mewn amgylchiad llwyddiannus trwy'r moddion o honoch chwi; eithr nid yw hyn ond yn gyffredin gyd ag eraill; ac nid ychwaneg na hyn yr ydym ni yn ei ddymuno, i amddiffyn ein crefydd yn ddiwaharddiad; yr hyn beth, fel nad yw yn ymddangos ynddi ei hun yn rhagorfraint i eiddygeddu wrthi, felly y mae o fantais i'r rhai a'i caniattasant i ni. Canys os yw y Dwyfol Fawrhydi yn boddloni i'w anrhydeddu, rhaid ei fod yn foddlon i'r sawl a ganiattant ryddid i'r rhai a'i hanrhydeddant. Ac nid oes unrhyw rai o'n defodau ni yn erbyn dynoliaeth; ond y maent oll yn tueddu at dduwioldeb, ac amddiffyniad cyfiawnder. Ac nid ydym yn darguddio y deddfau hyn o'r eiddom, wrth y rhai yr ydym yn llywodraethu ein bucheddau, gan eu bod yn goffadwriaethau o grefydd, ac o gymdeithasrwydd caredig ym mhlith dynion. A'r * seithfed dydd yr ydym yn ei neillduo oddiwrth lafur: efe a gyssegrir i addysgu ein defodau a'n cyfreithiau; yr ydym yn eu barnu yn briodol i fyfyrio arnynt, yn gystal ag unrhyw beth daionus arall, mewn trefn i ochelyd pechod. Os bydd i neb, gan hynny, sylwi i mewn i'n crefydd ni, efe a wel ei bod yn dda ynddi ei hun, a'i bod o hynafiaeth mawr hefyd; er bod rhai yn meddwl yn amgen. Yn gymmaint a bod y rhai a wnaethant dderbyniad o'n defodau ni yn anhawdd eu perswadio i ymadael â hwynt, oddiwrth y parch a roddant i feithder yr amser a ddarfu iddynt eu crefyddol fwynhau a sylwi arnynt. Yn awr, ein gelynion a ddygant ymaith ein rhagorfreintiau hyn yn anghyfiawn: y maent trwy drais yn perchennogi'r arian hynny o'r eiddom, y rhai a gyssegrem i Dduw, ac a elwid arian cyssegredig; a hyn ar gyhoedd, mewn dull o gyssegr-yspail. Y maent hefyd yn gosod teyrnged arnom, ac yn ein dwyn o flaen brawdleoedd ar ein dyddiau gŵylion; ac yna yn gofyn y fath ddyledion eraill gennym; nid o ran fod yr ammodau yn ei ofyn, ac er eu hunan-fantais, ond o herwydd y mynnent ddodi dirmyg ar ein crefydd ni; o'r hyn y maent yn gydwybodol yn gystal â ninnau, ac a roddasant eu hunain i gasineb anghyfiawn. Canys eich llywodraeth chwi ar bawb sydd yr un, yn tueddu i gadarnhau cymmwynasrwydd, a diddymmu drwg-ewyllys o blith y rhai sydd dueddol iddo. Hyn, gan hynny, yr ydym yn ei erfyn gennyt ti, O ardderchoccaf Agrippa, na cham-drinier ac na ddirmyger ni; na rwystrer ni i wneud ymarferiad o'n defodau, ac na yspeilier ni o'n heiddo, na'n gyrru gan y dynion hyn i wneuthur y peth nad ydym ni ein hunain yn rhwymo neb i'w wneuthur. Canys ein breintiau hyn ydynt nid yn unig yn ol cyfiawnder, ond gynt a ganiattawyd i ni gennych chwi. Ac ni a allwn ddarllen i chwi amryw o ddeddfau neu orchymmynion y senedd, a'r taflennau sydd yn eu cynnwys hwynt, y rhai sydd etto i'w gweled yn y cabidyldy ymherthynas i'r pethau yma; yr hyn mae'n amlwg a ganiattawyd ar ol cael o honoch brawf o'n ffyddlondeb tu ag attoch; y rhai a ddylent fod yn safadwy, er pe na buasai y fath ffyddlondeb. Canys hyd yn hyn chwi a gadwasoch yr hyn yr oedd pobl yn ei feddiannu; nid i ni yn unig, ond ynghylch i bob dynion; ac a chwanegasoch fwy o fanteision iddynt, nag a allent yn hawdd ei ddisgwyl; ac wrth hynny eich llywodraethiad chwi sydd wedi bod yn dra manteisiol iddynt. A phe byddai i ryw un allu cyfrif y llwyddiant a barasoch bob cenedl, yr hyn a feddianasant trwy'r moddion o honoch chwi, ni allai ddiweddu fyth ei ymadrodd. Ond fel yr eglurhaom ni nad ydym anheilwng o'r manteision a gawsom, bydd yn ddigon i ni beidio â dywedyd dim am bethau eraill, ond llefaru gyd â rhyddid am y brenin hwn sydd yn awr yn ein llywodraethu; ag sydd y pryd hwn yn un o'ch beirniaid. Ac yn wir ym mha siampl o ewyllys da ymherthynas i'ch teulu chwi y bu efe yn ddiffygiol? Pa nôd o ffyddlondeb iddo a adawodd heb ei ddangos? Pa

* Gallwn sylwi yma ar ymarferiad hynafol yr Iuddewon, yn cyssegru y dydd Sabboth, nid i segurdod, ond i ddysgu eu seremoniau cyssegredig, a'u defodau crefyddol; ac i fyfyrio ar gyfraith Moses.

achos am ei gynnorthwy i chwi, na ofalodd yn gyntaf o ddim ei ganiattau? Pa rwystr gan hynny sydd i arwyddion o'ch ffafr ymddangos mor lliosog a'i gymmwynasgarwch ef i chwi? Gall hefyd ysgatfydd fod yn gymmwys yma i beidio myned heibio mewn distawrwydd i wroldeb ei dad Antipater; yr hwn pan wnaeth Cæsar ymgyrch i'r Aipht, a'i cynnorthwyodd ef â dwy fil o wŷr arfog; ac ni phrofodd o lai defnyddioldeb nag eraill mewn brwydr ar dir, ac yn nhrefniad y llynges ar fôr. A pha angen sydd am i mi grybwyll o ba fawr bwys y bu ei filwyr ef ar yr amser hwnnw? a pha gynnifer o fawr roddion a gyfranwyd iddynt gan Cæsar? Ac yn ddiau mi ddylaswn grybwyll cyn y pryd hwn yr epistolau a 'sgrifennodd Cæsar at y senedd: a'r fath anrhydedd a roddid ynddynt i Antipater; gyd â chaniattâd o rydd-fraint dinas Rufain. Canys y rhai hyn ydynt dystion amlwg ddarfod i ni dderbyn ein ffafrion mewn ffordd o haeddiant; ac a ydym ar y cyfrif hwnnw yn deisyf eich cadarnhad o honynt, gan ba rai y mae gennym obaith o honynt, pe na buasent wedi eu rhoddi i ni o'r blaen; o barch i dueddrwydd ein brenin attoch chwi, a'ch tuedd chwithau atto ef. Ac ymhellach fe hyspyswyd i ni gan yr Iuddewon hyn, oeddynt yno, gyd â pha fath roesawiad y daethost i'n gwlad, a'r modd yr offrymmaist aberthau mwyaf haelionus i Dduw, ac a'i hanrhydeddaist ef â hynod addunedau: a'r modd y gwleddaist y bobl, ac y gwnaethost dderbyniad o'u rhoddion haelionus hwythau i ti. Dylem gyfrif yr holl roesawiad a wnaethpwyd gan wŷr o'n cenedl a'n dinas, i ŵr sy'n llywiawdwr a threfnwr cynnifer o achosion cyhoeddus, fel arwyddion o'r caredigrwydd hwnnw a ddychwelaist i'r genedl Iuddewig; a'r rhai a ennillwyd iddynt trwy deulu Herod. Felly yr ydym yn adgoffa y pethau hyn i ti ymhresennoldeb ein brenin, yn awr yn eistedd wrth dy ochr; ac yn gwneud ein deisyfiad am ddim ychwaneg nâ hyn: fel am yr hyn a ganiattawyd i ni gennych eich hunain, na oddefoch eu gweled yn cael eu cymmeryd ymaith gan eraill."

Wedi i Nicolaus wneuthur yr araith hon, ni wnaethpwyd dim gwrthwynebiad iddo gan y Groegiaid. Canys nid oedd hwn yn ymofyniad wedi ei wneuthur yn llys cyfiawnder; ond eiriolaeth am ragflaenu trais i gael ei wneuthur ymhellach i'r Iuddewon. Ac ni wnaeth y Groegiaid un amddiffyniad o honynt eu hunain; ac ni wadasant yr hyn a feddyliwyd iddynt wneuthur. Eu hesgusodiad ni fu ychwaneg na hyn; mai pan oedd yr Iuddewon yn preswylio yn eu gwlad, eu bod yn llwyr anghyfiawn iddynt hwy beidio ag uno â hwynt yn eu haddoliadau. Ond hwy a dystiasant eu huniondeb yn hyn, mai er eu bod yn addoli yn ol eu deddfau eu hunain, na wnaethant ddim ag oedd yn eu colledu hwynt. Felly wedi canfod o Agrippa ddarfod eu gorthrymmu trwy drais, efe a wnaeth attebiad, mai ar gyfrif ewyllys da, a chyfeillgarwch Herod, ei fod yn barod i ganiattau i'r Iuddewon pa beth bynnag a ofynnent: a bod eu gofyniad yn ymddangos ynddo ei hun yn gyfiawn: ac os oeddynt yn ewyllysio rhyw beth ymhellach, ni rusai efe ei ganiattau iddynt; tra na fyddai mewn un modd yn niweidiol i'r llywodraeth Rufeinaidd. Ond gan nad oedd eu gofyniad ychwaneg na hyn; sef, na fyddai i'r rhagorfreintiau a ganiattasid eisoes iddynt gael eu dirymmu; efe a gadarnhaodd hyn iddynt, eu bod i barhau yn yr arferiad o'u defodau eu hunain, heb i neb gynnyg cam, neu wneuthur y niweid lleiaf iddynt. Ac wedi dywedyd fel hyn, efe a ollyngodd y dyrfa ymaith. Ar hyn Herod a safodd i fynu, gan roddi ei law iddo, a bod yn ddiolchgar, am ei duedd caredig a ddangosasai tu ag attynt. Agrippa hefyd a gymmerodd hyn yn dra charedig, ac a'i cyfarchodd ef drachefn, gan ei gofleidio yn ei freichiau: ar ol yr hyn yr aeth ymaith o Lesbos. Ond y brenin a benderfynodd fordwyo o Samos i'w wlad ei hun: ac wedi cymmeryd ei gennad ag Agrippa, efe a aeth ymaith i'w fordaith, ac a diriodd yn Cæsarea ymmhen ychydig ddyddiau, wedi cael gwyntoedd cyflëus o'i ochr. Yna efe a aeth rhagddo i Jerusalem, ac yno a gasglodd yr holl bobl ynghyd yn un dyrfa; ac nid gyd ag ychydig o'r wlad hefyd. Felly efe a ddaeth attynt, ac a roddodd hanes neillduol

iddynt o'i holl daith, ac o fatterion yr holl Iuddewon yn Asia; pa fodd trwy'r moddion o hono ef, y byddent fyw heb orthrymder, na thriniaeth niweidiol tros yr amser i ddyfod. Adroddodd hefyd y llwyddiant a gyfarfyddodd, a'r modd y buasai yn gweini yn y llywodraeth; ac nad esgeulusodd un peth a fyddai er eu mantais. Ac megis yr ydoedd yn dra siriol, efe yn awr a faddeuodd iddynt y pedwerydd ran o'u trethoedd am y flwyddyn ddiweddaf. Yn ganlynol yr oeddynt wedi eu boddio gymmaint â'i ffafr, ac â'i araith wrthynt, fel ag yr aethant ymaith yn dra llawen; gan ddymuno i'r brenin bob rhyw happusrwydd.

## PENNOD III.

*Am yr anghydfod a gyfododd yn nheulu Herod, ar ei ddewisiad o Antipater, ei fab hynaf, o flaen y lleill.*

OND amgylchiadau teulu Herod ydoedd fwyfwy mewn annrhefn, ac a ddaeth yn llymmach arno trwy gasineb Salome tu ag at y gwŷr ieuangc Alexander ac Aristobulus: pa ryw gasineb a ddisgynnodd fel etifeddiaeth oddiwrth eu mam Mariamne. Ac fel y llwyddasai hi yn gwbl yn erbyn eu mam; felly hi aeth ym mlaen i'r fath radd o gynddeiriogrwydd a thrahausder, ag i ymdrechu na chai neb aros yn fyw o'i hiliogaeth, y rhai a fyddai ag awdurdod ganddynt i ddial ei marwolaeth. Y gwŷr ieuaingc hefyd ydoedd ag ynddynt dymmer hyf ac anesmwyth i raddau pell tu ag at eu tad; yr hyn yr oedd coffadwriaeth o ddioddefiadau eu mam yn achos o hono, ynghyd â'u hawyddfryd eu hunain i lywodraethu. Yr hen rwgnach hefyd a adnewyddwyd; a hwy a fwriasant waradwydd ar Salome a Pheroras: y rhai a dalent adref i'r gwŷr ieuangc â bwriadau maleisus, ac yn weithredol a osodasant faglau bradwriaethus iddynt. Yn awr, y casineb hwn ydoedd yn gydradd o bob tu: ond y moddion o'i gynnyddiad ydoedd yn wahanol. Canys y gwŷr ieuaingc oeddynt yn fyrbwyll; yn gwaradwyddo ac yn anfoddloni y lleill yn gyhoeddus: ac a oeddynt yn ddigon anghall i dybied yn foneddigaidd i amlygu eu meddyliau yn y modd dewrwych hwnnw. Ond y lleill a wnaent ddefnydd o enllibiau mewn modd maleisus a dichellgar: gan barhau i gythruddo'r gwŷr ieuaingc; a dychymmygu y byddai i'w hyfdra mewn amser dyfu i gynnygiad o drais i'w tad. Canys fel nad oeddynt yn cywilyddio oblegid y cam-ymddygiadau a haerid fod yn berthynol i'w mam, nac yn meddwl iddi ddioddef yn gyfiawn; y lleill a feddyliasant y gallai hynny mewn amser fyned tu hwnt i derfynau, a'u tueddu i feddwl y dylent ddial eu hunain ar eu tad; er pe byddai hynny i'w ddibennu â'u dwylaw eu hunain. O'r diwedd daeth yr holl ddinas yn llawn o ymddiddanion ynghylch hyn: ac, fel y mae'n arferol ar y fath ddadleuon, anghallineb y gwŷr ieuaingc a dosturid wrtho: ond dyfais Salome ydoedd ry galed iddynt; a'r hyn a gyfrifodd hi arnynt a gafodd ei gredu, trwy'r moddion o'u hymddygiad eu hunain. Canys yr oeddynt wedi cyffrôi gymmaint ar yr ystyriaeth o farwolaeth eu mam, tra y dywedent ei bod hi, megis eu hunain, mewn amgylchiad truenus; achwynasant yn daubaid ar ei diwedd alaethus, yr hwn yn wir ydoedd yn gyfryw un; ac a ddywedasant eu bod hwy eu hunain mewn sefyllfa dra phoenus, o herwydd eu bod yn rhwymedig i gyd fyw â'r rhai a fuasai ei llofruddion; ac i orfod cyd gyfrannogi â hwynt.

Y cythrwfl hwn a gynnyddodd yn ddirfawr; ac absennoldeb y brenin a roddodd gyfleusdra manteisiol i'r cynnydd hwnnw. Ond cyn gynted ag y dychwelodd Herod,* ac y gwnaeth yr araith rag-grybwylledig wrth y lliaws, Pheroras a Salome yn ebrwydd a ddiferasant rai geiriau megis ei fod mewn mawr berygl; a bod y gwŷr ieuaingc yn bwgwth yn gyhoeddus nad arbedent ef ddim yn hwy, ond a ddialent farwolaeth eu mam arno ef. Chwanegasant hefyd amgylchiad arall, sef, osod o honynt eu hyder ar Archelaus, brenin Cappadocia; y galluogid hwynt ganddo ef i ddyfod at Cæsar, a chyhuddo eu tad. Ar wrandawiad y pethau hyn Herod a derfysgwyd yn fawr; ac yn wir yr ydoedd yn fwy rhyfedd ganddo, oblegid adrodd yr un peth-

* Bl. 13.

au iddo gan eraill hefyd. Yna efe a alwodd i'w gof ei flinderau rhagflaenol; gan ystyried fod anghydfod ei deulu wedi ei luddias ef i fwynhau dim cyssur gyd â'r rhai oedd anwylaf ganddo, na chyd â'i wraig yr hon yr ydoedd yn ei charu mor bur. A chan ddrwg-dybio y byddai ei drallodion mewn amser i ddyfod yn drymmach ac yn fwy na'r rhai a aethent heibio, yr ydoedd mewn mawr drallod meddwl. Canys dwyfol ragluniaeth yn ddiau a drefnodd iddo lawer o fanteision allanol er ei happusrwydd, ïe tu hwnt i'w obaith: ond y blinderau a gafodd gartref ydoedd y fath a'r na ddisgwyliodd erioed eu cyfarfod; yr hyn a barodd iddo fod yn anneddwydd. Ië, rhai o bob math a'i goddiweddodd i'r cyfryw radd, na allai neb ei ddychymmygu; yr hyn a'i parodd yn ammheuaeth, pa un a newidiasai efe y fath fawr lwyddiant mewn pethau daionus oddi allan, am y gofidiau a gafodd gartref: neu pa un ai ni ddylasai ddewis gochelyd y blinderau perthynol i'w deulu, yn hytrach na chael yn daledigaeth yn ei le, dderchafiad i lywodraethu teyrnas.

Pan ydoedd y modd hwn tan aflonyddwch a thrallod, mewn trefn i ddarostwng y gwŷr ieuaingc hyn, efe a ddygodd i'r llys un arall o'i feibion, a elwid Antipater, yr hwn a anwyd iddo pan ydoedd yn ddyn cyffredin. Etto ni oddefodd iddo ymddwyn y pryd hynny megis ag y darfu yn ganlynol, pan orchfygwyd ef yn hollol ganddo, ac y gadawodd iddo wneuthur pa beth bynnag a ewyllysiai: ond yn hytrach gyd ag amcan i ddarostwng trahausdra meibion Mariamne; a threfnu ei dderchafiad ef yn y fath fodd ag i fod yn rhybydd neu ocheliad iddynt hwy. Canys eu hymddygiad balchiaidd hwy ni byddai mor fawr, wedi unwaith eu perswadio nad oedd y dilyniaeth i lywodraethiad y deyrnas yn perthynu yn unig iddynt hwy; neu ei fod o angenrheidrwydd i ddyfod iddynt. Felly efe a ddygodd Antipater i mewn fel cydymdrechwr â hwynt; ac a ddychymmygodd ei fod yn gwneuthur parottoad da tu ag at ddigalonni eu balchder: ac mai ar ol gwneud hyn â'r dynion ieuaingc, y byddai amser cymmwys i gael ei roddi i ddisgwyl rhagorach tuedd ynddynt. Ond y canlyniad a brofodd yn amgen na'r hyn yr oedd efe yn ei fwriadu. Canys y gwŷr ieuaingc a dybiasant ei fod yn gwneud y mawr niweid â hwynt. Ac fel yr oedd Antipater yn ddyn cyfrwysgall, wedi iddo unwaith feddiannu y gradd hwn o ryddid, a disgwyl o hono am bethau mwy nag yr oedd o'r blaen wedi gobeithio am danynt, nid ydoedd ganddo ond un amcan yn ei feddwl; a hynny oedd peri blinder i'w frodyr; a pheidio oll a rhoddi 'r oruchafiaeth iddynt, ond, i gadw yn agos at eu tad, yr hwn oedd eisoes wedi alltudio oddiwrthynt trwy 'r enllibiau a glywsai yn ei cylch; ac felly yn barod i argraphu arno yn y fath ffordd ag y byddai ei sel i'w herbyn yn ei annog i'w dilyn: fel y byddai yn barhaus yn fwyfwy llym i'w herbyn. Yn ganlynol, yr holl chwedlau a daenid o amgylch a ddaethant oddiwrth Antipater, tra 'r oedd ei hun yn ymogelyd rhag i neb feddwl mai oddiwrtho ef y tarddent. Ond efe yn hytrach a ddewisodd wneuthur defnydd o'r personau hynny yn gynnorthwywyr, na ddychymmygid am danynt; a'r cyfryw ag a gredid eu bod yn dywedyd y gwir, oblegid yr ewyllys da yr oeddynt yn ei ddwyn tu ag at y brenin. Ac yn wir yr ydoedd eisoes nid ychydig yn tynnu cyfeillach ag Antipater, tan obeithio mwynhau rhyw beth trwyddo ef: a'r cyfryw ydoedd y rhai yn bennaf a berswadiasant Herod; o herwydd ymddangos o honynt yn llefaru'r gwir oddiar ewyllys da wrtho ef. A thra'r oedd y cyd gyhuddiadau hyn, oddiar amryw seiliau, y naill yn gynhaliaeth i wirionedd y llall, y gwŷr ieuaingc eu hunain a roddasant bellach achlysur i Antipater hefyd. Canys daliwyd sulw eu bod yn fynych yn tywallt dagrau, ar gyfrif y niweid a gynnygid iddynt, ac a wnaethid i'w mam: ac yn mysg eu cyfeillion hwy a anturient waradwyddo eu tad, megis ei fod yn gwneuthur yn anghyfiawn â hwynt. Pa ryw bethau oll a gadwyd gyd â drwgfwriad mewn cof gan Antipater erbyn rhyw gyfleusdra pennodol. A phan draethwyd, gyd â chwanegiad, y pethau hyn i Herod, ei anhwyldeb a gynnyddodd gymmaint ag y dygodd gynnwrf mawr i'r teulu. Canys tra 'r oedd y brenin yn ddig o'

herwydd y pethau a fwrid ar feibion Mariamne, ac yn chwennych eu darostwng hwynt; efe a aeth rhagddo i chwanegu 'r anrhydedd a osodasai ar Antipater, ac o'r diwedd fe'i gorchfygwyd felly ganddo, fel y dygodd ei fam i'r llŷs hefyd. Efe hefyd a ysgrifennodd yn fynych at Cæsar mewn perthynas iddo, gan ei daer orchymmyn yn enwedig i'w ofal ef. A phan oedd Agrippa yn dychwelyd i Rufain, wedi gorphen ei * ddeng mlynedd o lywodraeth yn Asia, Herod a fordwyodd o Judea: a phan gyfarfuant nid oedd neb gyd ag ef ond Antipater: yr hwn a draddododd i Agrippa, fel y cymmerai ef gyd ag ef; ynghyd â llawer o anrhegion; fel trwy hynny y deuai yn gyfeillgar â Cæsar; yn gymmaint a bod pethau yn golygu eisoes yn y fath fodd, a phe buasai yn meddu holl ffafr ei dad: a bod y gwŷr ieuaingc yn barod wedi eu hollol wrthod oddiwrth bob gobaith am y deyrnas.

## PENNOD IV.

*Am Herod yn cyhuddo Alexander ac Aristobulus o flaen Cæsar; amddiffyniad Alexander, a'i gymmod â'i dad.*

YN awr, yr hyn a ddigwyddodd yn oed absennoldeb Antipater, a chwanegodd yr anrhydedd i ba un y dyrchafasid ef, a'i oruchafiaeth uwchlaw ei frodyr. Canys efe a wnaeth ymddangosiad godidog yn Rhufain; o herwydd i Herod ddanfon ei gymmeradwyad o hono at ei holl gyfeillion yn y ddinas honno. Yn unig fe ofidiodd am nad ydoedd gartref, ac nad oedd cyfleusderau ganddo yn barhaus i enllibio ei frodyr. A'i ofn pennaf ydoedd, rhag i'w dad gyfnewid ei feddwl, a chynnwys meddyliau mwy ffafrol am feibion Mariamne. Ac fel yr oedd hyn ganddo yn ei fyfyrdod, ni ymgadwodd rhag ei bwrpas, ond a ddanfonodd yn ddibaid o Rufain y cyfryw chwedlau ag a obeithiodd a barai ofid a chynnwrf i'w dad yn erbyn ei frodyr; tan rith, mae'n wir, o ofal mawr tros ei ddiogelwch: ond yn hytrach, fel yr oedd ei amcan maleisus yn ei dueddu, mewn trefn i ynnill gobaith o ddilyniad yn y llywodraeth; yr hyn etto ydoedd fawr ynddo ei hun. Ac fel hyn y gwnaeth nes cynnyrfu o hono y fath ddigter yn Herod, ag yr ydoedd eisoes wedi myned o duedd dra atgas tu ag at y gwŷr ieuaingc. Ond er hynny tra na arferodd weithred o drais tu ag attynt; a rhag y byddai rŷ esgeulus, neu rŷ fyrbwyll, a thrwy hynny troseddu; tybiodd yn oreu i fyned ar fordaith gyd â hwynt i Rufain, † ac yno i wneud achwyniad ar ei feibion o flaen Cæsar; ac nid goddef ei hun tan y cyfryw fai, ac a fernid yn tarddu oddiwrth annuwiaeth. Ond fel yr oedd yn myned i fynu i Rufain, fe ddigwyddodd iddo wneuthur y fath frys, ag y cyfarfu â Cæsar yn y ‡ ddinas Aguileia. Felly pan ddaeth at Cæsar, gofynnodd am amser i wneud gwrandawiad o'r achos mawr hwn, ymherthynas i ba un yr oedd yn cyfrif ei hunan mewn amgylchiad gofidus. Ac efe a osododd ei feibion ger bron, gan gyhuddo eu hymddygiad gwallgofus, a'u hanturiaethau yn ei erbyn ef. Dywedodd eu bod yn elynion iddo: a thrwy bob modd ag a allent, wedi ymdrechu i ddangos casineb at eu tad eu hunain; gan chwennychu dwyn ei fywyd oddiarno, a chael meddiannu'r deyrnas, yn ol y dull mwyaf barbaraidd. Bod ganddo ef awdurdod oddiwrth Cæsar i'w threfnu megis yr ewyllysiai; nid o angenrheidrwydd, ond o ddewisiad, i'r hwn a arferai fwyaf o ffyddlondeb tu ag atto ef: pan nad oedd ei feibion hyn mor chwannog i lywodraethu, ag oeddynt, ar eu siommedigaeth o hynny, i beryglu eu bywydau eu hunain, os gallent gymmeryd ymaith fywyd eu tad. Mor wyllt ac afreolus yr oedd eu meddyliau wedi myned. Ac yn ol cyd-ddwyn o hono â hwynt tros hir amser, yr ydoedd yn awr wedi gorfod cyfleu ei achos o flaen Cæsar,

* Y cyfrwng hwn o ddeng mlynedd o barhad llywodraeth Marcus Agrippa yn Asia, a ymddengys ei fod yn wir, ac yn gyttunol â'r Hanes Rufeinaidd. Gwel Gronielau Usher, Bl. 3392.

† Bl. 11.

‡ Er darfod i Herod gyfarfod ag Augustus yn Aguileia; etto fe oedwyd y cyhuddiad hwn o'i feibion nes eu dyfod i Rufain, fel yr hyspysir yn amlwg i ni yn hanes y Rhyfel, I. 23. er bod yr hyn a ddywed yno yn perthynu yn wahaniaethol i Alexander, y brawd hynaf; fy meddwl yw ynghylch ei ddygiad i Rufain, a estynnir yn gyfiawn yma at bob un o'r brodyr; a hynny nid yn unig yn ein copiau ni, ond yr un hynny o eiddo Zonaras hefyd. Ac nid oes reswm i ammau nad oeddynt bob un tan wrandawiad difrifol Augustus; er gwneud yr amddiffyniad gan Alexander ei hun, yr hwn oedd y brawd hynaf, ac un a fedrai areithio yn dda.

a halogi ei glustiau â'u hanes hwynt. Tra'r ydoedd ei hun yn ewyllysio gwybod pa ryw dostrwydd a ddioddefasant ganddo? neu pa galedi a fuasent ynddo, i beri iddynt achwyn arno ef: a pha fodd y gallent ei dybied yn gyfiawn na ddylai efe fod yn arglwydd y deyrnas honno, yr hon a ddarfuasai iddo mewn yspaid hir amser, a thrwy fawr beryglon ei hynnill: ac na chaniattant iddo ei chadw, a'i threfnu yn ol hynny i'r hwn a'i haeddai oreu: a hyn, gyd â manteision eraill, a fwriadai yn wobr i uniondeb y fath un ag a ddilynai'r gofal a gymmerodd efe oddiwrthi: ac y gallai'r cyfryw un ddisgwyl y fath daledigaeth. Ac mai peth drygionus ydoedd iddynt gymmeryd arnynt gyffwrdd â hi ym mlaen llaw. Canys yr hwn ag a fyddai â'r deyrnas bob amser yn ei olwg, ar yr un pryd a gyfrifai pa fodd i ddwyn o amgylch farwolaeth ei dad; am na's gallai trwy fodd arall feddiannu'r llywodraeth. Mai ymherthynas iddo ei hun, yr ydoedd wedi cyfrannu hyd yma iddynt yr hyn a allai, a'r hyn oedd weddus i rai darostyngedig i awdurdod frenhinol, ac i feibion brenin; gyd â pha ryw addurniadau oedd yn eisiau arnynt, a gwasanaeth-ddynion, a moethau: gan eu priodi â gwragedd o deuluoedd ardderchog: un o honynt, Aristobulus, i ferch ei chwaer; ond Alexander i ferch y brenin Archelaus. A'r hyn oedd y ffafr fwyaf i gyd, pan oedd eu beïau mor fawr, ac â chanddo ef awdurdod i'w cospi hwynt; etto ni wnaethai ddefnydd o hono yn eu herbyn, ond a'u dygasai o flaen Cæsar, eu cymmwynaswr cyffredin; heb wneuthur defnydd o'r tostedd, pa un fel tad wedi yn gamweddus ei ammharchu, neu fel brenin wedi ymosod yn fradwriaethus i'w erbyn, a allasai wneuthur; efe a'u dygasai i sefyll yn gydradd ag ef ei hun o flaen brawdle. Pa fodd bynnag yr ydoedd yn angenrheidiol na fyddai i hyn i gyd gael myned heibio yn ddi gosp, nag iddo ei hun fyw yn yr ofnau mwyaf. Iê, nad ydoedd er eu cyssur eu hunain i weled goleu'r haul ar ol yr hyn a wnaethent; a hwy yn ddiau a oddefent y cospedigaethau mwyaf a glybuwyd am danynt ym mysg dynolryw.

Dyma'r cyhuddiadau a osododd Herod gyd â difrifwch mawr o flaen Cæsar. Yn awr, y dynion ieuangc, pan ydoedd yn llefaru, ac yn bennaf wrth iddo ddiweddu, a ŵylasant, ac a oeddynt mewn tristwch mawr. Am danynt eu hunain, hwy a wyddent yn eu cydwybodau eu bod yn ddi-euog: ond oblegid eu cyhuddo gan eu tad, yr oeddynt yn cydnabod, yn wir, ei fod yn beth anhawdd iddynt wneuthur amddiffyniad. Ac er bod rhyddid iddynt i draethu, fel yr oedd yr achos yn gofyn; a bod yn eu gallu gyd â grym ac effaith wrthwynebu'r cyhuddiad; etto nid oedd yn weddaidd yn eu golwg yn awr wneuthur felly: yr ydoedd gan hynny yn ymddangos yn anhawddd pa fodd y dylent lefaru; yr hyn a wnaeth iddynt dywallt dagrau, ac o'r diwedd ddwys ocheneidio: tra'r oeddynt yn ofni os na ddwedent ddim, yr ymddangosai yr anhawsdra hwn arnynt trwy euogrwydd eu cydwybodau. Ac nid oedd un amddiffyniad wedi ei barottoi ganddynt ar gyfrif eu hieuengctyd, a'r blinder meddwl yr oeddynt ynddo. Etto nid oedd Cæsar yn anealladwy o dymmer eu meddwl, pan graffodd arnynt, a gweled y tristwch yr oeddynt ynddo: ac nad oedd eu gwaith yn oedi eu hymddiffyniad yn cyfodi oddiwrth euogrwydd cydwybodol o ryw drosedd; ond oddiwrth eu haufedrusrwydd a'u gŵylder. Tosturiwyd hefyd wrthynt gan y rhai oll oedd yn bresennol; a chynhyrfwyd teimladau eu tad yn ddirfawr, nes y profodd yn anhawdd eu cuddio hwynt.

Ond pan welsant dynerwch meddwl yn cymmeryd lle ynddo ef ac yn Cæsar tu ag attynt; a bod pawb eraill un ai yn tywallt dagrau, neu o leiaf yn cyd-ofidio â hwynt; un o honynt, a'i enw Alexander, a gyfeiriodd at ei dad, gan ymdrechu i atteb ei gyhuddiad, a dywedyd,

"O fy nhad! y tynerwch a ddangosaist tu ag attom ni sydd amlwg, hyd yn oed yn nygiad hyn o amgylch. Canys pe buasai gennyt fwriadau niweidiol yn ein herbyn, ni ddygasit ni yma o flaen achubwr cyffredinol pawb. Canys yr oedd yn dy allu di fel brenin, ac fel tad, i gospi y rhai euog. Ond wrth ddyfod â ni fel hyn i Rufain, a galw Cæsar y modd hwn yn dyst o'r hyn a wnaethpwyd, yr wyt yn arwyddo

amcan i'n hachub ni. Oblegid nid oes neb a fyddo ag amcan ganddo i ladd dyn, yn ei ddwyn i deml, neu at allor. Eithr ein sefyllfa ni sydd etto yn waeth: canys ni allwn ni oddef byw yn hwy, os rhoddir i gredu ein bod ni wedi gwneuthur camwedd â'r fath dad. Ië ysgatfydd y byddai'n waeth i ni fyw tan y dychymmyg hwn am danom, ddarfod i ni wneud niweid iddo, nag i farw heb y fath euogrwydd. Ac os cymmerir ein hymddiffyn cyhoeddus yn lle gwirionedd, nyni a deimlwn ein hunain yn happus trwy dy heddychu di, a diangc allan o'r perygl yr ydym ynddo. Ond os gorfydda yr enllib hwn, mwy na digon yw gweled o honom ni haul y dydd hwn. Yr hwn paham y dylasem ei weled, os gorphwys y dychymmyg hwn arnom? Hawdd yw dywedyd am ddynion ieuaingc fod chwant ynddynt i deyrnasu; ac i ddywedyd ymhellach fod y bai hwn yn tarddu oddiwrth ein mam anhappus. Hyn sydd yn gwbl ddigonol i ddwyn y bai hwn arnom allan o'r cyntaf. Ond ystyria yn dda, pa un ai nid yw y fath gyhuddiad yn cyfatteb i bob dynion ieuaingc, ac na ellir ei ddywedyd am bawb yn gyffredin? Canys nid oes dim a rwystra'r neb sydd yn teyrnasu, os bydd plant ganddo, a'u mam wedi marw, i ddrwg-dybio ei holl feibion, megis pe byddent yn amcanu rhyw fradwriaeth yn ei erbyn. Ond nid yw dychymmyg yn ddigon i brofi y fath ymarferiad drygionus. Yn awr, dyweded rhyw un, pa un a ddarfu i ni yn weithredol ac yn drahaus, gynnyg y fath beth, ag a ellir trwyddo gredu yr hyn oedd o'r blaen yn anghredadwy? A all neb ddywedyd ddarfod i wenwyn gael ei barottoi gennym ni? neu brofi bradwriaeth ein cydradd, neu lygriad gweinidogion, neu anfoniad llythyrau yn dy erbyn? Er yn wir nad oes dim o'r pethau hyn na chyfrifwyd ar amserau, mewn ffordd o enllib, i ni, pan na fuom erioed yn eu harfer. Canys i fod brenhinol deulu mewn ymrysonfa â'u gilydd sydd beth ofnadwy: a'r hyn a elwi di yn wobr duwioldeb, yn fynych a ddigwydd, ym mysg dynion tra annuwiol, yn fath sail o obaith ag na adawant un math o ddrygioni heb wneud ymarferiad o hono. Ac nid oes neb a all osod unrhyw ymarferiad drygionus yn ein herbyn ni. Ond am wrando enllibiau, pwy a all ddodi terfyn arnynt, a'r na wrendy ar yr hyn a ddywedwn ni? A siaradasom ni gyd â gormod rhyddid? do; ond nid yn dy erbyn di; canys hynny a fuasai yn anghyfiawn: ond yn erbyn y rhai na chadwant fyth yn ddirgel ddim a'r a ddywedir wrthynt. A alarodd un o honom oblegid ein mam? do; ond nid o herwydd ei marw hi, ond o herwydd dywedyd yn ddrwg am dani gan y rhai nad oedd ganddynt reswm i wneuthur hynny. A oes gennym ni chwennychiad i'r llywodraethau ag a wyddom fod ein tad yn eu meddiannu? pa reswm sydd gennym i wneuthur hynny? Os ydym eisoes yn meddu anrhydedd brenhinol, megis y mae gennym, oni lafuriem ni yn ofer? Ac os na feddwn hynny, onid ydym yn byw mewn gobaith am danynt? Neu bwrier i ni dy ladd, a allem ni ddisgwyl meddiannu dy deyrnas, pan na adawai'r ddaear i ni sengi arni, na'r môr i ni fordwyo trosto, ar ol y fath weithred a honno. Ië, crefydd dy holl ddeiliaid, a duwioldeb yr holl genhedlaeth a waharddasant i dadleiddiad feddiannu'r llywodraeth, a chael * mynediad i'r deml sanctaidd honno a adeiladaist di. Ond meddylier wneuthur o honom yn ysgafn o beryglon eraill, a ddichon un mwrddrwr fyned yn ddi-gosp tra fyddo byw Cæsar? Dy feibion ydym ni; ac nid rhai mor ddrygionus ac anystyriol ag y mae hynny yn ei gynnwys; er ysgatfydd ein bod yn fwy anffortunus nag sydd gyflëus i ti. Ond os na chei ynom ryw achos o gyhuddiad, neu amcan bradwriaethus, pa dystiolaeth ddigonol sydd gennyt i gyfrif y fath anwiredd o'r eiddom ni yn gredadwy? Ein

* Gan ddarfod i rai dynion rhagfarnllyd gynnwys y fath wyllt ddychymmyg, ag a nodasom eisoes, XV. 11. nad yw hanes Josephus am Herod yn ail-adeiladu 'r deml well na chwedl; fe allai nad yw yn anghymmwys dal sulw ar yr ymadrodd achlysurol hwn, yn araith Alexander o flaen ei dad Herod, yn ei amddiffyniad ei hun â'i frawd, ag sy'n crybwyll am y deml, megis yn adnabyddus i bawb ddarfod ei hadeiladu gan Herod. Gwel Ioan ii. 20. Gwel hefyd araith arall o eiddo Herod, wrth y gwyr ieuaingc a dynnasai i lawr ei eryr aur, oddiar du-wyneb y deml; lle y deil sulw, "ddarfod i adeilad y deml gostio iddo swm dra threnl-fawr; ac na ddarfu i'r Asmoneaid, yn y 125 o flynyddoedd y buont yn cynnal y llywodraeth, fod yn alluog i gyflawni 'r fath orchwyl mawr er anrhydedd i Dduw ag ydoedd hwn.' XVII. 6.

mam a fu farw, mae'n wir: ond yna yr hyn a ddigwyddodd iddi hi a allai ein hyfforddio ni i fod yn ochelgar, ac nid ein hannog i ryfyg a drygioni. Nyni a ewyllysiem wneud ymddiffyniad hir-faith o honom ein hunain. Ond gweithredoedd heb eu cyflawni ni chaniattânt lawer o ymadroddion. Ië, ni a wnawn y cyttundeb hwn â thi, a hynny o flaen Cæsar, arglwydd pawb, yr hwn yn awr sydd gyfryngwr rhyngom: Os gelli di, O dad, ddwyn dy hun, wrth dystiolaeth gwirionedd, i gael meddwl rhydd oddiwrth amheuon ymherthynas i ni, gad ni i fyw, pe gorfyddai i ni wneuthur hynny mewn ffordd annedwydd: canys i rai gael eu cyhuddo o weithredoedd mawrddrwg, sydd beth arswydus. Ond os oes ynot ryw ofn yn aros, parhâ di yn dy fuchedd o uniondeb: nyni a roddwn y rheswm yma am ein hymddygiad ein hunain. Nid yw ein bywyd mor ddymunol i ni, ag i ewyllysio ei gadw, os tuedda i niweidio ein tad yr hwn a'i rhoddes i ni."

Wedi i Alexander lefaru y modd hwn, Cæsar, yr hwn o'r blaen, ni chredasai am y fath enllib, a gynhyrfwyd yn fwy o'i herwydd, ac a edrychodd yn sỳn ar Herod, ac a'i canfu mewn gradd o derfysgiad: y personau yno yn bresennol ydoedd hefyd yn gofidio oblegid y gwŷr ieuaingc; a'r sôn a aeth o amgylch a barodd anair i'r brenin. Canys yr amheuaeth o'r enllib, a phrydferthwch ymddangosiad y gwŷr ieuangc a ddadleuodd tros eu hymddiffyniad: a hynny yn fwy ar y cyfrif hwn, oblegid i Alexander ymadroddi gyd â phwyll a challineb. Ië, ni ddarfu iddynt hwy eu hunain barhau â'r un wedd arnynt ag o'r blaen; gyd ag wynebau gwlybion gan ddagrau, a'u golwg tu â'r llawr: ond yn awr hwy a obeithiasant y goreu. A'r brenin ei hun a ymddangosodd heb sail ddigonol ganddo i lunio y fath gyhuddiad yn eu herbyn, gan nad oedd tystiolaeth eglur am eu trosedd. Yn wir yr oedd diffyg amddiffyniad arno tros y fath gyhuddiad. Ond Cæsar, wedi ychydig oediad, a ddywedodd, mai "er bod y gwŷr ieuaingc yn hollol ddieuog o'r hyn yr enllibiwyd hwy o'i blegid; etto eu bod cyn bellad â hynny i'w beio, am nad ymddygasant eu hunain tu ag at eu tad yn y fath fodd ag i ragflaenu y drwg-dybiau a gerddasant o amgylch ymherthynas iddynt." Efe hefyd a annogodd Herod i adael y cyfryw ddrwg-dybiau oll o'r neilldu, ac i gymmodi â'i feibion: am nad oedd yn iawn iddo roddi crediniaeth i'r fath chwedlau ymherthynas i'w blant ei hun: ac y gallai edifeirwch o bob tu feddyginiaethu y rhwyg a ddigwyddasai rhyngddynt; ac a allai chwanegu eu hewyllys da tu ag at eu gilydd, tra fyddai y rhai o bob ochr yn esgusodi byrbwylldra eu dychymmygion, ac yn ymroddi i ddwyn ychwaneg o serchowgrwydd y naill tu ag at y llall nag o'r blaen. Yn ol i Cæsar eu rhybuddio fel hyn, efe a amneidiodd ar y gwŷr ieuaingc. Wedi eu tueddu hwynt gan hynny i ymgrymmu i lawr i wneud eiriolaeth at eu tad, efe â'u cymmerodd i fynu, ac a'u cofleidiodd, a hwynt-hwy yn tywallt dagrau; gan gymmeryd pob un yn wahanol yn ei freichiau, nes oedd pob rhai ag ydoedd yn bresennol, pa un bynnag ai rhyddion neu gaethion, wedi eu dwfn gynhyrfu â'r hyn a welsant.

Yna dychwelasant ddiolch i Herod, ac a gyd-aethant ymaith; a chyd â hwynt yr aeth Antipater, gan wneud rhagrithiol ymddangosiad o lawenychu wrth y cymmod hwn. Ac ar ddiwedd y dyddiau y buont gyd â Cæsar Herod a wnaeth anrheg iddo o dri chant o dalentau, fel ag yr oedd yn gwneud arddangosiad o ryfeddodau i bobl Rhufain. A Cæsar a'i hanrhegodd ef â hanner gweithiau y mwyn copr yn Cyprus; gan roddi gofal yr hanner arall hefyd iddo ef; a'i anrhydeddu â rhoddion ac ardrethoedd eraill. Ac ymherthynas i'w deyrnas, efe a'i gadawodd i'w awdurdod ei hun, i appwyntio yr un a ddewisai o'i feibion i'w ddilyn yn ei llywodraethiad; neu ei dosparthu yn rhannau rhwng pob un: fel y byddai'r derchafiad wrth hynny ddyfod ar bob un. Ond fel ag yr oedd tuedd gan Herod i wneuthur y fath sefydliad yn ddioed, Cæsar a ddywedodd na chaniattâi efe iddo ymddifadu ei hun tra fyddai byw, o'r awdurdod tros ei deyrnas, a thros ei feibion.

Ar ol hyn Herod a ddychwelodd i Judea drachefn. Ond yn ei absennoldeb, rhan nid

bychan o'i arglwyddiaethau yn Trachon ydoedd wedi ymderfysgu; pa rai, er hynny, a ddarfu i'r blaenoriaid a adawsai yno eu darostwng a'u dwyn i ufudd-dod drachefn. Yn awr, fel ag yr oedd Herod yn mordwyo gyd â'i feibion, a dyfod trosodd ar gyfer Cilicia, i'r ynys Eleusa, yr hon yn awr sydd wedi cyfnewid ei henw i Sebaste; cyfarfu yno ag Archelaus, brenin Cappadocia, yr hwn a'i derbyniodd yn roesawgar; megis ag yn dda ganddo ei fod wedi ymheddychu â'i feibion, a bod ei achwyniad yn erbyn Alexander, yr hwn a briodasai ei ferch, wedi ei ddibennu. Hwy hefyd a wnaethant y fath anrhegion i'w gilydd ag oedd weddus i frenhinoedd. Oddiyno Herod a ddaeth i Judea, ac i'r deml, lle y gwnaeth efe araith wrth y bobl, ymherthynas i'r hyn a ddigwyddasai yn ei siwrnai: ymddiddanodd hefyd â hwynt am garedigrwydd Cæsar tu ag atto; ac ynghylch cynnifer o bethau neillduol a wnaethai, y rhai a dybiodd a fyddai er ei fantais, ac a ddylai eraill gael gwybodaeth o honynt. Yn y diwedd fe drodd ei ymradrodd at ei feibion, i'w rhybuddio hwynt; ac annog y rhai oedd o amgylch y llys, ac eraill o'r lliaws i gyttundeb; gan eu hyspysu fod ei feibion i deyrnasu ar ei ol ef. Antipater yn gyntaf; ac yna Alexander ac Aristobulus, meibion Mariamne. Ond dymunodd ganddynt yn bresennol ei anrhydeddu ef, a'i gyfrif fel brenin ac arglwydd ar y cwbl; oblegid na rwystrid ef etto gan henaint; ond a ydoedd yn yr amser hwnnw o'i fywyd ag oedd fwyaf cymmwys i lywodraethu: ac nad oedd yn ddiffygiol o ddoniau eraill i iawn drefnu matterion y deyrnas, a rheoli ei dylwyth hefyd. Llefarodd ymhellach wrth ei îs lywodraethwyr ynghyd â'r milwyr, Os hyderent arno ef, yr arweinient eu bywydau mewn modd heddychol, ac y gwnaent y naill a'r llall yn ddedwydd. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ollyngodd y dyrfa ymaith. Yr araith hon a fu gymmeradwy gan y rhan fwyaf o'r dyrfa; ond nid felly gan bawb. Canys yr ymryson rhwng ei feibion, a'r addewidion a wnaethai iddynt, a fu 'n achos o feddyliau ac amcan i ddwyn cyfnewidiadau yn eu mysg hwynt.

## PENNOD V.

*Am ŵyl y Campau neu Chwareuon, (a gedwid gan Herod bob pummed flwyddyn,) ar orpheniad adeiladaeth Cæsarea; a'i waith yn adeiladu ac yn addurno amryw fannau eraill.*

AR yr amser hwn y bu i Cæsarea Sebaste, a adeiladasai Herod, gael ei gorphen: a'r holl weithiau perthynol iddi a gwblhawyd yn y * ddegfed flwyddyn; a'i gŵyl a ddigwyddodd yn yr wythfed flwyddyn ar hugain; ac yn y ganfed a'r ddeuddegfed flwyddyn a phedwar ugain Olympiad. Bu yn ganlynol ŵyl fawr, ac arlwyadau helaethlawn gael eu gwneuthur mewn trefn i'r cyssegriad hwn. Canys efe a appwyntiasai ymrysoniad mewn cerddoriaeth, a champau, i gael eu cwblhau yn noeth. Cafodd hefyd yn barod nifer fawr o rai a ymladdent law-law; ac o anifeiliaid i'r un pwrpas. Ceffylau-rhedeg hefyd; a'r fath ddifyrron a drychau costfawr ag a gynhelid yn Rhufain, a mannau eraill. Efe a gyssegrodd yr ŵyl yma i Cæsar, ac a orchymmynodd ei chadw bob pum mlynedd. Efe hefyd a ddanfonodd bob math o addurniadau i'w chynnal allan o'i dŷ ei hun; fel na byddai ddim yn eisiau i'w gwneuthur yn enwog. Ië, † Julia, gwraig Cæsar, a ddanfonodd rau o'i dodrefn mwyaf gwerthfawr o Rufain; yn gymmaint ag nad oedd unrhyw beth yn eisiau. Y swm o honynt i gyd a gyfrifwyd yn bum cant o dalentau. Yn awr, wedi i liaws mawr ddyfod i'r ddinas honno, i weled y rhyfeddodau, megis hefyd y cennadwyr a ddanfonwyd oddiwrth dywysogion eraill, ar gyfrif y cymmwynasau a gawsent gan Herod, efe a'u croesawodd oll mewn tafarn-dai, ac wrth fyrddau cyffredin, a gwleddoedd gwastadol; ac yn yr ŵyl hon yr ydoedd wrth liw dydd bob difyrron i'r golwg;

* Y dangosiadau a'r campau clodfawr hyn a ymddengys iddynt gael eu cynnal yn Cæsarea, yn yr 28 i Herod; neu 10 mlynedd o flaen y cyfrif Cristionogol, fel y mae'r archesgob Usher yn penderfynu, wrth y fl. 3994 o oed y byd; yr hyn ydoedd yn y 3edd flwyddyn hefyd o'r 192 Olympiad: ac sydd yn cwbl gyttuno â phenderfyniad Josephus.

† Gwraig Augustus, yr hon gan awdwyr Rhufeinaidd a elwir yn gyffredin Julia; yn enwedig y rhai a 'sgrifenasant yn ol i Augustus, yn ei ewyllys, ei mabwysio i dylwyth Julian: fel y mae Hudson a Spanheim yma yn hyspysu i ni.

ac yn y nos y fath gyfarfodau llawen ag a gostiodd fesur mawr o arian; yr hyn a ddangosodd yn amlwg haelionus dymmer y brenin yn yr achos hwn. Canys yn ei holl orchwyliaethau yr ydoedd yn awyddus i wneuthur yr hyn a ymddangosai yn rhagori ar y cyffelyb beth a wnaethid o'r blaen. Ac fe adroddir fod Cæsar ac Agrippa yn mynych ddywedyd, fod llywodraethau Herod yn rhy fychan i fawrfrydigrwydd ei enaid: a'i fod yn haeddiannol o gael teyrnas Syria, a'r un hynny o'r Aipht hefyd.

Ar ol i'r gŵyliau a'r gwleddoedd hyn fyned trosodd, Herod a adeiladodd ddinas arall yn y gwastadedd, a elwid Capharsaba, lle y dewisodd sefyllfa addas ymherthynas i ddigonoldeb o ddwfr, a brasder tir; ac yn gymmwys i ddwyn pa beth bynnag a hauid neu a blennid ynddo: afon a amgylchynai y ddinas ei hun, a llwyni o goed goreu a mwyaf eu maintioli yn ei chwmpasu hi. Hon a enwodd Antipatris, oddiwrth enw ei dad Antipater. Efe hefyd a adeiladodd le arall uwchlaw Jericho, o'r un enw â'i fam ef; yr hwn oedd le o ddiogelwch mawr, ac yn breswylfa dra hyfryd, ac a'i henwodd Cypros. Efe hefyd a wnaeth gôf-golofnau, ac a'u cyssegrodd yn goffadwriaeth am ei frawd Phasaelus, ar gyfrif y serchiadau natur i raddau mawr a fuasai rhyngddynt; gan adeiladu tŵr yn y ddinas ei hun, heb fod yn llai na thŵr Pharos, yr hwn a enwodd Phasaelus; a'r hwn a'r unwaith ydoedd amddiffyniad cadarn y ddinas, a choffadwriaeth am yr un a fuasai farw, oblegid fod ei enw arno. Efe hefyd a adeiladodd ddinas o'r un enw yn nyffryn Jericho, fel ag yr elych oddi yno tu a'r gogledd; trwy'r hyn y gwnaeth y wlad gymmydogol yn fwy ffrwythlon, trwy lafur ei phreswylwyr. A hon hefyd a enwodd Phasaelus.

Ond am ei gyfraniadau eraill, y mae'n amhossibl eu rhifo hwynt; y rhai a gyfrannodd ar ddinasoedd yn Syria, ac yn Groeg; ac yn yr holl fannau y daeth iddynt yn ei for-deithiau. Canys fe ymddengys gyfrannu o hono, yn y modd helaethaf, o'r hyn a wasanaethai i ddiwallu pob anghenion; a thu ag at adeiladau cyhoeddus; gan roddi yr arian a fyddai yn angenrheidiol i'w gorphen hwynt; i'w cynnal ar ffaeledd o ardrethoedd eraill. Ond yr hyn oedd bennaf a mwyaf godidog o'i holl weithredoedd ydoedd, adeiladaeth teml Apollo yn Rhodes, ar ei gost ei hun: ac a roddodd nifer fawr o dalentau arian iddynt, tu ag at adnewyddiad eu llynges. Hefyd fe adeiladodd y rhan fwyaf o'r lleoedd cyhoeddus i breswylwyr * Nicopolis, yn Actium. Ac i'r Antiociaid, preswylwyr prif ddinas Syria; lle y mae heol lydan yn rhedeg trwy'r ddinas y ffordd hwyaf, efe a wnaeth 'stafell-dai ar bob un o'i hochrau: ac a osododd y brif-ffordd o gerrig nadd ag ydoedd o gyfleustra mawr i'r trigolion. Ac ymherthynas i'r chwareuon Olympaidd, y rhai oeddynt mewn cyflwr tra isel, o achos ffaeledd eu hardrethoedd; efe a adferodd eu henwogrwydd; ac a drefnodd foddion i'w cynnal hwynt; ac a barodd y cyfarfod arbennig hwnnw yn fwy cymmeradwy, ymherthynas i aberthau, ac addurniadau eraill. Ac ar gyfrif ei haelioni mawr hwn, cydnabuwyd ef yn eu hargraphiadau yn un o drefnwyr gwastadol y chwareuon hynny.

Yn awr, rhai sydd yn sefyll i ryfeddu wrth amrywiaethau natur Herod, a'i fwriadau. Canys pan edrychom ar ei fawredd, a'r cymmwynasau a wnaeth i holl ddynolryw, nid oes bossiblrwydd i'r rhai â lleiaf o barch iddo, i wadu, neu beidio addef yn gyhoeddus, ei fod o naturiaeth dra haelionus. Eithr pan edrycho neb ar y cospedigaethau a osododd, a'r niweid a wnaeth, nid yn unig i'w ddeiliaid, ond i'w berthynasau agosaf hefyd; ac a ddalio sulw ar ei dueddiad llym ac anfaddeugar yno; bydd raid iddo ganiattau ei fod yn anifeilaidd ac yn ddieithr i bob dynoliaeth. Yn gymmaint ag y meddyliai y dynion hyn fod ei natur yn amrywiaethol, ac weithiau yn wrthwyneb iddi ei hun. Ond yr wyf fi o dyb arall, ac yn meddwl fod achos pob rhai o'r gweithredoedd hyn i'w

* Dr. Hudson yma a ddug o'n blaen ciriau Suetonius, ymherthynas i Nicopolis, pan ail-adeiladodd Augustus hi: "Ac fel y byddai coffadwriaeth o'r fuddugoliaeth yn Actium gael ei gynnal yn sicrach ar ol hynny, efe a adeiladodd Nicopolis yn Actium; gan orchymmyn i ŵyl gyhoeddus gael ei chadw yno bob pummed mlynedd." In August. §19.

gyfrif yr un. Oblegid ag efe yn ddyn awyddus i anrhydedd, ac wedi yn gwbl ei orchfygu gan y dymmer honno, fe'i denwyd i fod yn fawrfrydig, pa le bynnag yr ymddangosai rhyw obaith o goffadwriaeth tros yr amser i ddyfod, neu glod presennol. Ac fel yr oedd ei gostau uwchlaw ei allu, gosodid angenrheidrwydd arno i ymddwyn yn sarrug tu ag at ei ddeiliaid. Canys y personau ar ba rai y gwariai ei arian, oeddynt gynnifer ag a'i gwnaethant ef yn godwr peryglus o honynt. Ac o herwydd gwybod o hono ei fod yn cael ei gasbau gan y rhai oedd tano ef, ar gyfrif y niweid a wnai iddynt; fe'i barnodd yn beth anhawdd i ddiwygio ei gamweddau; canys hynny oedd anghyfleus i'w drethoedd: efe gan hynny a ymdrechodd o'r tu arall i wneud eu hanewyllysgarwch yn achlysur i'w ynnill. Am ei frenhinllys ei hun, os ydoedd rhyw un yno na fyddai oddefgar i'w ymadroddion, ac na chyffesai ei hun yn gaeth i'w awdurdod ef; neu a ymddangosai yn dychymmygu am ryw adnewyddiad llywodraeth, ni allai ar hyny ei gynnwys ei hun; ond a erlidiai hyd yn oed ei garennydd a'i gyfeillion, ac a'u cospai megis pe byddent ei elynion. A'r arferiad drwg hwn a gymmerodd arno, oddiar ddymuniad o gael ei hun yn unig ei anrhydeddu. Yn awr, am fy sicrhad hwn o'i dymmer ef, y mae gennym y dystiolaeth amlyccaf, oddiwrth yr hyn a wnaeth i anrhydeddu Cæsar ac Agrippa, a'i gyfeillion eraill. Canys yr anrhydedd a ddangosodd iddynt hwy, fel ei uwchraddolion, y cyffelyb a chwennychodd gael ei dalu iddo ei hun. A'r peth a feddyliai yn anrheg mwyaf ardderchog i'w wneud i eraill, efe a ddangosodd ddymuniad am fod i'r cyffelyb anrhegion gael eu gwneuthur iddo ef. Ond yn awr y genedl Iuddewig ydynt ddieithriaid i'r cyfryw bethau; ac wedi eu harferyd i ddewis cyfiawnder uwchlaw clod; am ba reswm yr oedd y genedl honno yn anghymmeradwy ganddo; o herwydd ei fod uwchlaw eu gallu i wenhieithio awyddfryd y brenin â lluniau, temlau, neu ryw weithredoedd eraill. A hyn a ymddengys i mi ei fod ar unwaith yn achos o gamweddau Herod, ymherthynas i wŷr ei lys, a'i gyngoriaid: ac o'i haelioni tu ag at ddieithriaid, a'r rhai nad oedd ganddynt ddim perthynas ag ef.

## PENNOD VI.

*Am gennadwri'r Iuddewon yn Cyrene ac Asia at Cæsar, ymherthynas i'r achwyniadau oedd ganddynt yn erbyn y Groegiaid: hefyd copïau o'r epistolau a ysgrifennodd Cæsar ac Agrippa at y dinasoedd trostynt.*

YN awr * y dinasoedd a wnaethant driniaeth ddrwg â'r Iuddewon yn Asia, a'r rhai hynny hefyd o'r un genedl, ag oeddynt yn byw yn † Lybia, sydd yn cyssylltu a Cyrene; pan ddarfuasai i'r brenhinoedd blaenorol ganiattau iddynt ragorfreintiau cydradd â'r dinasyddion eraill: ond y Groegiaid a gam ymddygasant tu ag attynt y pryd hwn: a hynny mor bell ag i ddwyn ymaith eu harian cyssegredig, a gwneuthur niweid iddynt ar achlysuron eraill. Wedi cael eu blino gan hynny y modd hwn, heb gael diwedd ar y driniaeth farbaraidd a gyfarfuont ym mysg y Groegiaid, danfonasant gennadwyr at Cæsar ar yr achosion hyn. Efe a roddodd iddynt yr un rhagorfreintiau ag oedd ganddynt o'r blaen; ac a ddanfonodd lythyrau i'r un pwrpas at lywodraethwyr y taleithiau; copïau o ba rai a gyssylltaf yma, fel tystiolaethau o duedd ffafrol yr ymmerawdwyr Rhufeinaidd tu ag attom yn yr amserau gynt.

"Cæsar Augustus, archoffeiriad, a nawddwr cyffredin y bobl, sy'n gorchymmyn y modd hwn. Gan fod Cenedl yr Iuddewon wedi eu

* Bl. 9. † Cymmerwch sylwiadau hynod Reland yma: "Lybia yr hon sydd yn cyssylltu â Cyrene. Fod llawer o'r Iuddewon yno, yr ydym yn dysgu hefyd oddiwrth Act. ii. 10. Yn yr Aipht, ac ymharthau Lybia o amgylch Cyrene. Am ba achos Iuddewon Lybia, Cyrene, ac Alexandria, a gyssylltir yn fynych ynghyd. Fel hyn y dywed Cyncellus Chronograph. t. d. 347. O'r hyn a ddigwyddodd yn nheyrnasiad Trajan: yr Iuddewon ag ydoedd yn Lybia, a Cyrene, a'r Aipht, ac Alexandria. O herwydd paham pan gyssyllter Act. vi. 9. yr Iuddewon o'r synagogau a elwir y Libystiniaid, a'r Cyreniaid, a'r Alexandriaid ynghyd, nid wyf yn ammau na ddeallir am y rhai hyn: a bod y darlleniad Libertiniaid yn Actau'r Apostolion yn gamsyniol. Gwybyddir fod Libystin wedi ei ffurfio o Lybia, yn gystal a Lybian; megis yn Catullus: Llewes ar fynyddoedd Lybistin; h. y. mynyddau Lybian." Chwanegaf fod gan y cyfieithad Armeniaidd Lybians, yn y fan yma, yn lle Libertiniaid, yr hyn sydd gadarnhad cryf o benderfyniad Reland.

cael yn ffyddlon i bobl Rhufain, nid yn unig yr amser hwn, ond mewn amserau aeth heibio hefyd, ac yn bennaf Hyrcanus yr archoffeiriad, tan * fy nhad Cæsar, yr ymmerawdr. Fe ymddengys yn dda yn fy ngolwg i, a'm cynghorjaid, yn gyttunol â dedryd a llw pobl Rhufain, fod i'r Iuddewon gael rhyddid i wneuthur arferiad o'u defodau eu hunain, yn ol cyfraith eu tadau, megis yr oeddynt yn eu harfer tan Hyrcanus, archoffeiriad y Duw Hollalluog: ac na chyffyrdder â'u harian cyssegredig, ond eu danfon i Jerusalem: ac na orfyddo arnynt fyned o flaen un barnwr ar y dydd Sabboth, neu ar y † dydd parottoawl iddo, ar ol y nawfed awr. Ond os ceir neb a ddygo ymaith eu llyfrau sanctaidd, neu eu harian cyssegredig; pa un bynnag ai o'r synagog, neu ysgol gyhoeddus, efe a gyfrifir yn ddyn cyssegr-yspeiliedig, a'i eiddo a ddygir i drysorfa gyhoeddus y Rhufeiniaid. Ac yr wyf yn rhoddi gorchymmyn, fod i'r dystiolaeth a ddanfonasant i mi, ar gyfrif fy mharch i'r cyfiawnder hwnnw ag wyf yn ei arfer tu ag at holl ddynolryw; ac o barch i Caius Marcus Censorinus, ynghyd â'r gorchymmyn presennol a draethodd yn y lle enwog hwnnw a gyssegrwyd i mi gan gorph gwladwriaeth Asia yn Ancryna. Ac os trosedda neb ryw ran o'r peth a orchymmynir uchod, efe a gospir yn llym." Hyn a argraphwyd ar golofn yn nheml Cæsar.

"Cæsar at Norbanus Flaccus, yn anfon annerch. Bydded i'r Iuddewon hynny, pa gynnifer bynnag ydynt, y rhai a arferasant, yn ol defod eu hynafiaid, i ddanfon eu harian i Jerusalem, wneuthur hynny gyd â rhyddid." Y rhai hyn oeddynt orchymmynion Cæsar.

Agrippa hefyd a ysgrifennodd yn ol y drefn ganlynol ymherthynas i'r Iuddewon. "Agrippa, at y swyddogion, y senedd, a phobl yr Ephesiaid, yn anfon annerch. Fy ewyllys yw fod i ofal a chadwraeth yr arian cyssegredig a ddygir i'r deml yn Jerusalem, gael ei adael i'r Iuddewon o Asia, i wneuthur â hwynt yn ol defod eu hynafiaid. A bod i'r sawl a ledrattäo yr arian hynny o eiddo'r Iuddewon, ac a fföa i'r cyssegr, gael ei ‡ gymmeryd ymaith oddi yno a'i draddodi i'r Iuddewon, wrth yr un gyfraith ag y cymmerir cyssegr-yspeilwyr yn garcharorion. Ysgrifennais hefyd at Sylfanus y rhaglaw, na chymmeller yr Iuddewon gan neb i ddyfod o flaen barnwyr ar y dydd Sabboth."

"Marcus Agrippa, at swyddogion, senedd, a phobl Cyrene, yn anfon annerch. Yr Iuddewon o Cyrene a eiriolasant gyd â mi, am gwblhad o'r gorchymmynion a ddanfonodd Augustus at Flavius, y pryd hynny yn rhaglaw Libia, ac at swyddogion eraill y dalaith honno; a'r fod i'r arian cyssegredig gael eu danfon yn ddidraul i Jerusalem, fel yr arferai yr Iuddewon er amser eu hynafiaid. Y rhai a wnaethant achwynion eu bod yn cael eu hammharchu gan ryw swyddwyr, tan esgus o godiad trethoedd, cyn amser eu digwyddiad, a thrwy hynny yn eu lluddias i'w danfon: y rhai, pa fodd bynnag, yr wyf yn gorchymmyn eu hadferyd iddynt heb eu lleihau, nac aflonyddu dim ar y perchennogion. Ac os bydd i rai o'r arian cyssegredig hynny yn y dinasoedd gael eu cymmeryd oddiwrth eu hiawn dderbynwyr; gorchymmynaf ymhellach fod i'r unrhyw arian gael eu dychwelyd yn ol yn gyflawn i'r Iuddewon yn y lle hwnnw."

"Caius Norbanus Flaccus, prif-raglaw, at swyddogion y Sardiniaid, yn anfon annerch. Cæsar a ysgrifenodd attaf, ac a orchymmynodd i mi, i beidio gwahardd yr Iuddewon, pa nifer bynnag a fyddont, rhag ymgynnull ynghyd, yn ol defod eu tadau; neu rhag danfon eu harian i Jerusalem. Mi ysgrifennais gan hynny attoch, fel y gwybyddoch y mynnai Cæsar a minnau i chwi wneuthur yn gyfattebol."

Julius Antonius, y prif-ynad, hefyd a 'sgrifenodd i'r un effaith;—" At swyddogion, senedd, a phobl yr Ephesiaid. Fel ag yr oeddwn yn

* Augustus sydd yma yn galw Julius Cæsar ei dad, er wrth ei enedigaeth nad oedd ond yn unig ei ewythr; ar gyfrif ei fabwysiadu ganddo ef. Gwel y cyffelyb, XIV. 14.

† Hon sydd dystiolaeth awdurdodol fod yr Iuddewon yn nyddiau Augustus, yn dechrau eu parottoad i gadw gŵyl y Sabboth ar y nawfed awr o ddydd Gwener; fel yr ymddengys fod traddodiad y tadau yn ei ofyn.

‡ Y gorchymmyn hwn o eiddo Marcus Agrippa, i gymmeryd cyssegr-yspeilwyr allan o'r cyssegr, sydd â pherthynas i gyfraith Moses, Exod. xxi. 14. "Os daw dyn yn rhyfygus ar ei gymmydog i'w ladd ef trwy dwyll; cymmerer ef i farwolaeth oddiwrth fy allor."

dosparthu cyfiawnder yn Ephesus ar ides mis Chwefror, yr Iuddewon a drigent yn Asia a amlygasant i mi, ddarfod i Augustus ac Agrippa ganiattau iddynt i wneuthur arferiad o'u cyfreithiau a'u defodau eu hunain; ac offrymmu y cyfryw flaen-ffrwythau ag y mae pob un o honynt yn ei offrwm i'r Duwdod, ar gyfrif crefydd; a'u dwyn yn un cwmp'ni i Jerusalem, yn ddi-wrthwynebiad. Hwy hefyd a ddeisyfiasant arnaf, am gadarnhau o honwyf yr hyn a addawsid iddynt trwy fy nghydsyniad fy hun. Mynnwn, gan hynny, i chwi gymmeryd sulw, mai yn ol ewyllys Augustus ac Agrippa, yr wyf yn caniattau iddynt wneuthur yn ol defodau eu hynafiaid, heb ddim rhwystr neu aflonyddwch."

Bum dan angenrheidrwydd o gyfleu y gorchymmynion hyn, o herwydd fod hanes presennol ein gweithredoedd ni yn myned, yn gyffredin, yn gydgymmysg â'r Groegiaid: a mi wrth hyn a amlygais iddynt, ein bod gynt mewn cyfrif mawr, ac na waharddwyd i ni gan y llywodraethwyr yr oeddym danynt rhag dilyn neb rhyw gyfreithiau perthynol i'n hynafiaid. Ië, ddarfod ein cynnal ganddynt, tra buom yn dilyn ein crefydd, a'r addoliad a dalem i Dduw. Ac yr wyf yn mynych grybwyll y gorchymmynion neu'r deddfau hyn, mewn trefn i gymmodi pobl eraill â ni; a chymmeryd ymaith yr achos o'r casineb hwnnw ag y mae dynion yn afresymmol yn ei ddwyn tu ag attom. Ac o ran ein * defodau, nid oes un genedl bob amser yn gwneuthur defnydd o'r un; ac ynghylch ym mhob dinas yr ydym yn cyfarfod â rhai yn gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall. Ond cyfiawnder naturiol sydd dra chyttûn â manteision pawb yn gydraddol, Groegiaid a Barbariaid. I hyn y mae ein cyfreithiau yn rhoddi'r parch mwyaf: a thrwy hynny y maent yn ein gwneuthur, os parhawn ynddynt mewn purdeb a gwirionedd, yn garedig ac yn haelionus tu ag at bob dyn. Ar y cyfrif hwn y mae gennym reswm i ddisgwyl yr un dychweliad oddiwrth eraill: ac i hyspysu iddynt na ddylent gyfrif gwahaniaeth mewn gosodedigaethau allanol yn ddigonol achos o ddieithro; ond i gyduno â ni yn nilyniad rhinwedd a daioni. Canys hyn a berthyn i bob dynion yn gyffredin; ac sydd ddigonol ei hun yn unig i gynnal bywydau dynion yn gyssurus.

## PENNOD VII.

*Am drais Herod ar feddrod Dafydd; mewn canlyniad i'r hyn y chwanegodd yn fawr yr ymryson yn ei Deulu.*

HEROD, yn y cyfamser a dreuliasai fesur di-rifedi o arian ynghylch y dinasoedd, oddi fewn ac oddi allan i'w deyrnas. A fel y clybu o'r blaen ddarfod i Hyrcanus, yr hwn a fuasai o'i flaen yn frenin, † agoryd beddrodd Dafydd, a chymmeryd o hono dair mil o dalentau arian; a bod etto fesur mawr wedi eu gadael ar ol. Efe a agorodd y beddrod hwnnw liw nos, ac a aeth i mewn iddo; gan ymdrechu na fyddai i hyn gael ei wneud yn hyspys yn y ddinas, a chymmeryd yn unig ei gyfeillion ffyddlonaf gyd ag ef. Ymberthynas i arian, ni chafodd yno ddim; ond y dodrefn hynny o aur, a'r eiddo gwerthfawr a ddodasid i fynu yno, y rhai hynny oll a gymmerodd ymaith. Pa fodd bynnag yr oedd chwennychiad mawr ganddo i chwilio yn fanylach, ac i fyned ymhellach i mewn, ïe cyn belled a chyrph Dafydd a Solomon: ond dau o'i warchawdlu a laddwyd, gan fflam a dorrodd allan, ac a oddiweddodd yn ddisymmwth, (fel y dywedir) y rhai a aethant i mewn. Felly efe a ddychrynwyd yn ddirfawr, ac a aeth allan, ac a adailadodd gof-golofn o feini gwynion wrth ddrws y beddrod, fel iawn am eu gweithred o ryfyg; a hynny ar draul mawr. Ac hefyd ‡ Nicolaus ei historiawr, sy'n

* Y rhan weddilledig o'r bennod hon sydd hynod, megis yn iawn ddosparthu cyfiawnder naturiol, crefydd, a moesoldeb, oddiwrth osodedigaethau pendant ym mhob gwlad; ac yn eglur wneuthur dewisiad o'r cyntaf o flaen yr olaf; megis ag y darfu gwir brophwydi Duw bob amser tan yr Hen Destament; a Christ a'i apostolion tan y Testament Newydd. Oddiwrth yr hyn yr oedd Josephus yn ymddangos, y pryd hwn, yn nes at Gristionowgrwydd, na Sgrifenyddion a Phariseaid ei amser ef; y rhai fel y gwyddom, wrth y Testament Newydd, oeddynt yn gwbl o wahanol farn ac ymarferiad.

† Gwel Llyfr XIII. pen. 8.

‡ Mae'n deilwng o sulw yma, mor ofalus oedd Josephus am ddatguddio'r gwir yn hanes Herod; gan na ddilynai Nicolaus o Damascus ei hun, yr hwn oedd gymmaint Hanesydd, pan oedd achos i ammeu ei fod yn gwenieithio i Herod. Yr hwn ddidueddrwydd mewn hanesyddiaeth y mae Josephus yma yn ei broffesu yn ddifrifol: ac o ba ddiduedddiad y mae'n rhoddi mwy amlygrwydd, nag un hanesydd arall.

gwneud crybwylliad o'r gof-golofn yma a wnaethpwyd gan Herod; er nad yw yn crybwyll am ei fynediad i lawr i'r beddrod; gan wybod fod anghlod ynglŷn â'r weithred hono. Ac amryw bethau eraill a draetha efe yn gyffelyb yn ei lyfr. Canys efe a ysgrifenodd yn amser bywyd Herod, ac yn y fath drefn ag ai boddlonai ef; heb gyffwrdd â dim ond a dueddai er ei glod; ac un ai yn cuddio, neu amlwg esgusodi llawer o'i feiau adnabyddus. Ac megis yr ewyllysiodd ddodi lliw teg ar farwolaeth Mariamne, a'i meibion, y rhai oeddynt weithredoedd barbaraidd o eiddo'r brenin; efe a adroddodd anwiredd ymherthynas i anniweirdeb Mariamne, ac amcan bradwriaethus ei feibion tu ag atto ef: ac fel hyn yr aeth ym mlaen yn ei holl waith: gan ddangos clodforedd i'r gweithredoedd canmoladwy a wnaethai, a dyfal esgusodi ei rai anghyfiawn. Yn wir, fe all fod gan un lawer i'w ddywedyd tros Nicolaus: canys ni ysgrifenodd yr hanes hon yn briodol tros eraill, ond megis rhyw beth a fyddai yn gwasanaethu i'r brenin ei hun. Am danom ein hunain, ag sy'n tarddu o dylwyth agos i'r brenhinoedd Asmoneaidd, ac ar y cyfrif hwnnw sydd â chennym sefyllfa anrhydeddus yn perthynu i ni, yr hon yw'r offeiriadaeth; yr ŷm yn ei gyfrif yn anweddaidd i adrodd dim anwir ymherthynas iddynt: ac yn ganlynol descrifiasom eu gweithredoedd mewn modd diesgeulus ac uniawn. Ac er ein bod yn perchi llawer o hiliogaeth Herod ag sydd etto yn teyrnasu; etto yr ydym yn rhwym i berchi gwirionedd yn fwy na hwynt: a hyn er digwydd o honom weithiau dynnu eu hanfoddlonrwydd arnom wrth hynny.

Ac yn wir blinderau Herod yn ei deulu a ymddangosasant yn chwanegu, o achos y cynnyg hwn a wnaeth ar feddrod Dafydd. Pa un bynnag ai dwyfol ddialedd a fu'n achos o gynnydd y trallodion yr oedd yn gorwedd tanynt, mewn trefn i'w gwneud yn anfeddyginiaethol: neu pa un a ddarfu i ddamwain wneud rhuthr arno yn yr achosion hyn; pan ddarfu prydlondeb yr achos beri crediniaeth gref i'r blinderau ddyfod arno am ei annuwioldeb. Canys y terfysg ydoedd fel gwrthryfel cartrefol yn ei balas: a'u casineb y naill tu ag at y llall ydoedd fel pe buasai pob un yn ymdrechu i ragori ar eu gilydd mewn enllibiau. Pa fodd bynnag, Antipater a arferai ddichellion yn wastadol yn erbyn ei frodyr, a hynny mewn modd tra chyfrwys. Pan oddi cartref efe a'u beichiai â chyhuddion; ond etto a gymmerai arno yn fynych i wneud amddiffyniad o'u plegid; fel y byddai i'r caredigrwydd ymddangosiadol hwn tu ag attynt beri ei gredu ef, a dwyn ym mlaen ei amcanion yn eu herbyn; trwy ba foddion efe, mewn amryw ddull, a dwyllodd ei dad; yr hwn a gredodd fod yr hyn a wnelai er ei ddiogelwch ef. Herod hefyd a gymmeradwyodd Ptolemy, yr hwn oedd gyfarwyddwr mawr yn achosion y deyrnas i Antipater; yr hwn a ymgynghorodd â'i fam ymherthynas i'r achosion cyhoeddus hefyd. Ac yn wir y rhai hyn ydoedd oll yn oll; ac a wnaent yr hyn a ddymunent; gan beri'r brenin yn ddigllon yn erbyn pawb eraill, gan ddychymmygu y byddai er mantais iddynt hwy. Ond meibion Mariamne oeddynt o hyd a'u cyflwr yn myned yn waeth. Ac wedi eu gwthio allan, a'u gosod mewn sefyllfa ddi-anrhydeddus; y rhai etto, wrth enedigaeth, oeddynt ardderchoccaf o bawb, ni allent ddioddef y dirmyg. Ac am y gwragedd, Glaphyra, gwraig Alexander, merch Archelaus, a gasaodd Salome; yn gystal ar gyfrif ei chariad tu ag at ei gŵr, ac o herwydd fod Glaphyra yn ymddangos yn ymddwyn gyd â gradd o drahausder at Salome ei merch, yr hon ydoedd wraig Aristobulus.

Yn awr heblaw yr ail-ymryson hwn a ddigwyddodd yn eu mysg, ni ymgadwodd brawd y brenin, Pheroras, ei hun hefyd allan o'r blinder; ond a ydoedd ag iddo sail neillduol o ddrwg-dybiad a chasineb: canys efe a oddiweddwyd i'r fath raddau â serchowgrwydd i'w wraig, ag y dirmygodd ferch y brenin, i'r hon y dyweddiasid ef; ac a ogwyddodd ei feddwl yn hollol at y llall, yr hon ni fuasai yn unig ond gweinidog. Herod hefyd oedd yn gofidio o herwydd y dianrhydedd a wnaed iddo: o herwydd cyfrannu o hono lawer o roddion iddo ef, a'i ddyrchafu i oruchel awdurdod, fel ag yr

oedd agos yn gydgymmar ag ef yn llywodraeth y deyrnas: ac efe a welodd na wnaethai gydnabyddiaeth dyledus o'i ffafr; ac a'i cyfrifodd ei hun yn annedwydd ar yr achos hynny. Felly ar wrthodiad anweddus Pheroras, efe a roddodd y llangces i fab Phasaelus. Ond ar ol ennyd o amser, pan dybiodd i boethder serchowgrwydd ei frawd fyned trosodd, efe a'i beiodd am ei ymddygiad blaenorol; ac a ddymunodd arno gymmeryd ei ail ferch, enw'r hon oedd Cypros. Ptolemy hefyd a'i cynghorodd i roddi heibio anfoddloni ei frawd, ac ymadael â'r hon a garasai; oblegid mai peth gwael oedd ymserchu cymmaint mewn gweinidog, ag i ymddifadu ei hun o ewyllys da y brenin tu ag atto, a bod yn achos o'i flinder, a pheri ei hunan yn gâs ganddo. Pheroras a wyddai y byddai'r cyngor hwn er ei fantais ei hun; yn enwedig o herwydd ei gyhuddo o'r blaen, a maddeu iddo. Felly efe a roddodd ei wraig heibio, er cael eisoes fab o honi: ac a ymrwymodd â'r brenin i gymmeryd ei ail ferch; gan wneuthur cyttundeb am i'r dydd priodas fod ymhen y deng niwrnod ar hugain ar ol hynny: gan wneuthur llw na fyddai iddo ychwaneg o gyfeillach â'r hon a roddasai efe ymaith. Ond wedi myned o'r deng niwrnod a'r hugain heibio, yr oedd efe y fath gaethwas i'w serchiadau, fel na chyflawnodd ymhellach un peth a addawodd; ond a arosodd gyd â'i wraig flaenorol. Hyn a barodd i Herod ofidio yn gyhoeddus, a myned yn ddigllon; fel y traethai'r brenin ryw air neu gilydd yn wastadol yn erbyn Pheroras; a llawer a gymmerasant anfoddlonrwydd y brenin yn achlysur i gyfodi enllib yn ei erbyn. Ac ni chafodd y brenin mwyach un diwrnod nac un awr o lonyddwch; ond achosion o ymrafaelion newyddion a gyfododd ymmhlith ei berthynasau, a'r rhai oedd anwylaf ganddo. Canys Salome ydoedd o dymmer sarrug, a drwg tu ag at feibion Mariamne; ac ni oddefai i'w merch ei hun, yr hon oedd wraig Aristobulus, un o'r gwŷr ieuaingc hyny, i ddwyn ewyllys da i'w gwr: ond ei pherswadio i fynegi iddi hi, os dywedai ryw beth wrthi yn ddirgel: a phan ddigwyddai rhyw gamddealltwriaeth rhyngddynt, hi godai lawer o ddrwg-chwedlau oddi wrth hynny.

Trwy ba foddion y dysgodd ddirnad eu holl achosion, ac y gwnaeth y llangces yn ddrwg ei nwydau tu ag at y dyn ieuangc. Ac mewn trefn i foddio ei mam, dywedodd fod y gwŷr ieuaingc, pan fyddent wrthynt eu hunain, yn mynych grybwyll am Mariamne: a'u bod yn casâu eu tad; ac yn bwgwth yn wastadol, pe byddent unwaith wedi meddiannu'r deyrnas, y gwnaent feibion Herod, o'i wragedd eraill, yn athrawon-ysgol yn y wlad; am fod y ddysgeidiaeth bresennol a gawsent yn eu cymhwyso i'r fath alwad. Ac ymherthynas i'r merched, pa bryd bynnag y gwelent hwy wedi eu haddurno â dillad eu mam, bwgwthiasant yn lle eu gwisgoedd gwychion presennol, y dilladid hwynt â sach-liain, ac y cauid hwy i fynu mewn lle mor gyfyng fel na's gwelent oleu'r haul. Y chwedlau hyn a ddygwyd yn ebrwydd gan Salome i'r brenin; yr hwn a dristawyd wrth eu gwrando hwynt, ac a ymdrechodd i wneuthur matterion i fynu. Ond y pethau hyn a'i blinodd ef; a chan ddyfod yn fwy-fwy anesmwyth, efe a gredodd bob peth yn erbyn pob un. Pa fodd bynnag, ar ei waith yn ceryddu ei feibion, ac wrth wrando yr amddiffyniad a wnaethant, bu yn esmwythach tros amser; er, ychydig ar ol hynny damweiniau gwaeth a'i goddiweddasant ef.

Pheroras a ddaeth at Alexander, gwr Glaphyra, yr hon oedd ferch Archelaus; gan ddywedyd, ddarfod iddo glywed gan Salome, fod Herod mewn serch â Glaphyra, a bod ei dymmer am dani yn anfeddyginiaethol. Pan glybu Alexander hynny, yr oedd efe oll megis ar dân, trwy ei ieuengctyd a'i eiddigedd: ac efe a gymmerodd yr arwyddion o ymweliadau caruaidd Herod â hi, y rhai oeddynt dra mynych, yn y ffordd waethaf: y rhai a darddasant oddiwrth y drwg-dybiau a gynnwysodd, ar gyfrif y geiriau a syrthiasant oddi wrth Pheroras. Ac ni fedrodd guddio ei ofid oblegid y peth, ond a hyspysodd i'w dad y geiriau a ddywedasai Pheroras. Ar yr hyn Herod a wnaed yn fwy terfysglyd nag erioed. Ac heb allu goddef y fath anair, ag oedd er gwaradwydd iddo, efe a aflonyddwyd yn fawr o'i herwydd; ac yn fynych a alarai o herwydd annuwioldeb ei deulu, a'r drwg-dal-

iad a wnaent iddo ef. Felly efe a ddanfonodd am Pheroras, gan ddywedyd, "Tydi y dihiraf o'r holl ddynion! a ydwyt wedi cyrraedd y fath radd anfesuredig o anniolchgarwch, nid yn unig i feddwl y fath bethau am danaf fi, ond i lefaru am danynt! Yr wyf yn awr yn canfod yn wir beth yw dy amcanion di. Nid yw dy ymgais yn unig i'm gwaradwyddo, pan arferit y fath eiriau wrth fy mab; ond trwy hynny ei berswadio i fradwriaethu yn fy erbyn, a cheisio fy nifetha trwy wenwyn. A pha ddyn sydd, a'r na fyddo â challineb ganddo wrth law, megis y mae gan fy mab, a gynnwysai y fath ddrwg-dybiau am ei dad, na fynnai ddial ei hun arno? A ydwyt yn meddwl ddywedyd o honot air yn unig iddo fyfyrio arno; ac nid yn hytrach i ti roddi cleddyf yn ei law i ladd ei dad? A pha beth yw dy feddwl, pan wyt mewn gwirionedd yn ei gashau ef a'i frawd, i gymmeryd arnat ddangos caredigrwydd iddynt, yn unig mewn trefn i gyfodi gwaradwydd yn fy erbyn i; ac yn siarad am y fath bethau a'r na allai neb ond y fath adyn drygionus eu llunio mewn meddwl, na'u datgan mewn geiriau. Dos ymaith, yr hwn wyt bla dy gymmwynaswr, a'th frawd: ac eled y gydwybod ddrwg sydd gennyt gyd â thi: tra byddo i mi barhau i ynill fy mherthynasau trwy garedigrwydd; a bod mor bell oddi wrth ddial fy hun arnynt, â chyfrannu pethau mwy iddynt nag y maent yn haeddu."

Ar hyn Pheroras, yr hwn a ddaliwyd yn y weithred yma o ysgelerder, a ddywedodd, Mai Salome ydoedd yr un a luniasai y fradwriaeth hon, a dyfod y geiriau oddiwrthi hi. Ond cyn gynted ag y clybu hi hynny, (canys yr oedd hi ger llaw,) hi lefodd allan, fel un a fynnasai ei chredu, na ddaethai y fath beth erioed allan o'i genau hi; a'u bod hwy oll yn taer-ymdrechu i wneud i'r brenin ei chasâu, a gwneud am dani hi; o herwydd yr ewyllys da yr oedd yn ei ddwyn at Herod; ac oblegid ei bod bob amser yn rhagweled y peryglon a fyddent yn dyfod arno; a bod mwy o fradwriaethau yn ei erbyn yn bresennol nag arferol. Canys pan mai hi oedd yr unig un a berswadiai ei brawd i roddi heibio y wraig oedd yn bresennol ganddo, a chymmeryd o hono ferch y brenin, nid oedd ryfedd iddi gael ei chasâu ganddo. Fel ag yr oedd yn llefaru hyn, ac yn tynnu gwallt ei phen, a churo ei dwyfron; gwedd ei hwyneb a barodd i'w gwadiad o'r geiriau uchod gael ei gredu: eithr gwrthgasrwydd ei hymddygiad a dystiolaethodd yr un pryd, ei ffuantrwydd yn yr achos hwn. Ond yr oedd Pheroras rhyngddynt wedi ei ddwyn i ddalfa; ac nid oedd ganddo un peth cymmeradwy i'w gynnyg er ei hunan-amddiffyniad. Tra'r oedd yn cyfaddef ddywedyd o hono yr hyn a osodid i'w erbyn, ond na chredid ef pan ddywedai iddo ei glywed gan Salome. Felly y cynnwrf yn eu mysg a gynnyddodd, a'u geiriau amrafaelgar y naill yn erbyn y llall. O'r diwedd y brenin, oddiar ei gasineb i'w frawd a'i chwaer, a'u danfonodd ymaith ill deuwedd. Ac wedi canmol cymmedroldeb ei fab, ac am iddo ef ei wneud yn hyspys o'r chwedl, efe a aeth yn yr hwyr i'w esmwythâu ei hun. A'r ol y fath ymryson â hwn a ddigwyddodd yn eu mysg, geirda Salome a ddioddefodd yn fawr, wedi meddwl mai oddiwrthi y tarddasai yr enllib yn gyntaf. A gwragedd y brenin oeddynt yn ofidus o'i phlegid, gan wybod ei bod yn un o ddrwg-naturiaeth, ag a fyddai weithiau yn gyfeilles, a phryd arall yn elynes, ar wahanol amserau. Felly hwy a lefarent yn wastadol ryw beth neu gilydd i'w herbyn: a'r hyn a ddigwyddodd yn awr a'u gwnaeth yn hyfach i'w gwrthwynebu.

Yr ydoedd un Obodas, brenin Arabia, dyn segur a swrth wrth naturiaeth: ond Sylleus a drefnai y rhan fwyaf o'i achosion trosto ef. Yr ydoedd efe yn ddyn synhwyrgall er ei fod yn ieuangc; ac yn olygus yn y cwbl. Y Sylleus hwn, wedi dyfod ar ryw achos at Herod, a chan swppera gyd ag ef, a ganfu Salome, ac a osododd ei serch arni hi: a chan ddeall mai gweddw ydoedd, efe a ymddiddanodd â hi. Yn awr, gan fod Salome y pryd hwn mewn llai cymmeriad gyd â'i brawd, hi edrychodd ar Sylleus gyd â gradd o ddymuniad, ac a ydoedd yn mawr chwennych ei briodi ef. Ac ar y dyddiau canlynol fe ymddangosodd amryw arwyddion o'u cyttundeb â'u gilydd. Yn awr, y gwragedd a ddygasant y newyddion hyn at y brenin; ac a

chwarddasant wrth yr anghyssondeb o hono. Yn ganlynol, Herod a ymofynnodd yn ei gylch â Pheroras, gan beri iddo sylwi ar swpper pa fodd y byddai eu hymddygiad y naill tu ag at y llall: ac efe a adnabu trwy'r arwyddion a ddaeth oddiwrth eu gwedd a'u golygon eu bod yn amlwg mewn cariad. Ar ol hyn Sylleus yr Arabiad, wedi ei ammeu, a aeth ymaith; ond a ddaeth drachefn ym mhen deufis neu dri ar ol hynny; megis pe byddai ar yr amcan hwnnw yn unig; gan lefaru wrth Herod, a dymuned ganddo Salome yn wraig briod iddo; oblegid na fyddai ei berthynas ag ef yn anfanteisiol i'w achosion, trwy uno ag Arabia: y llywodraeth o ba wlad ydoedd eisoes, mewn effaith, tan ei awdurdod ef; ac a fyddai yn fwy amlwg yr eiddo ef ar ol hyn. Yn ganlynol, Herod a ymddiddanodd â'i chwaer yn ei gylch; gan ofyn iddi a ydoedd yn foddlon i'r ymgyssylltiad hwn? Hithau yn ebrwydd a gydsyniodd iddo. Ond wedi cymmell Sylleus i ddyfod trosodd at y grefydd Iuddewig, ac yna y priodid hi ag ef; a'i fod yn ammhossibl ei wneuthur ar un ammod arall: ni oddefai y cynnygiad hwnnw, ond efe a aeth i'w ffordd. Canys dywedodd, pe gwnai hynny, y llabyddid ef gan yr Arabiaid. Yna Pheroras a waradwyddodd Salome am ei hanniweirdeb; fel ag y gwnaeth y gwragedd yn llawer mwy: gan ddywedyd ddarfod i Sylleus ei halogi hi. Ymherthynas i'r wyryf honno a ddyweddiasai â'i frawd Pheroras, ond ni chymmerasai efe hi, fel yr adroddais o'r blaen, o herwydd ei gariad at ei wraig gyntaf, Salome a ddymunodd gan Herod ei rhoddi i'w mab hi o Costobarus: ond efe a annogwyd i'r gwrthwyneb gan Pheroras: yr hwn a ddadleuodd na fyddai'r gwr ieuangc hwnnw yn garedig tu ag atti, wedi lladd ei dad ganddo ef: a'i fod yn gyfiawnach i'w fab ei hun, pa un oedd i'w ddilyn yn swydd tetrarch, ei chael hi. Yn ganlynol y llangces, ar y cyfnewidiad yma o'i dyweddïad, a roddwyd i'r gwr ieuangc hwn, mab Pheroras: a'r brenin yn cyfrannu iddi yn gynnysgaeth gant o dalentau.

## PENNOD VIII.

*Am derfysgoeddnewyddion a gyfododd ynnheulu Herod; triniaeth arw Alexander, a'i gymmodiad â'i dad yn ganlynol.*

ACHOSION teulu Herod ni wellhaodd ddim; ond yn wastadol a dyfodd yn fwy blinderus. A damwain a ddigwyddodd, pa un a ddaeth mor bell ym mlaen, ag i ddwyn anhawsderau mawr arno. Yr ydoedd rhai eunuchiaid gan y brenin; pa rai, oblegid eu prydferthwch, oeddynt yn dra hoff ganddo: a'r gofal o'i ddiodi oedd yn cael ei ymddiried i un o honynt; o ddwyn swpper i mewn i un arall; a'i roddi yn ei wely yngofal y trydydd; yr hwn hefyd oedd drefnwr prif achosion y deyrnas. Yn awr, rhyw un a ddywedodd i'r brenin ddarfod llygru yr eunuchiaid yma gan ei fab Alexander, â swm mawr o arian. A phan ofynwyd iddynt pa un a fuasai ymddiddanion camweddus rhyngddynt ag Alexander? hwy a'i cyfaddefasant: ond dywedasant na wyddent am ddim niweid ymhellach o'r eiddo ef yn erbyn ei dad. Ond wedi eu llym ddirboeni ymhellach, ac yn yr ing mwyaf, pan ddarfu i'r poenwyr, o gydsyniad ag Antipater, estyn y boenfa hyd yr eithaf; dywedasant fod Alexander yn dwyn drwg-ewyllys mawr, a chasineb cynhwynol i'w dad; a dywedyd o hono iddynt fod Herod yn anobeithio byw lawer yn hwy; ac mewn trefn i guddio ei oedran mawr, ei fod yn lliwio ei wallt yn ddu; ac yn ymdrechu i gadw yn ddirgel yr hyn a arwyddai pa mor hen ydoedd. Ond os ymofynnent hwy âg ef, pan feddiannai y deyrnas; yr hon, heb yn waethaf i'w dad, ni allai ddigwydd i neb arall, y caent etifeddu y lleoedd uchaf yn y deyrnas honno tano ef. Oblegid ei fod ef yn awr yn barod i gymmeryd y deyrnas, nid yn unig fel ei enedigaeth-fraint, ond trwy'r parottöad a wnaethai i'w meddiannu: o herwydd fod amryw o'r pennaethiaid, a llawer o'i gyfeillion o'i ochr ef; a'r rhai hynny yn barod i wneuthur ac i ddioddef pa beth bynnag a ddeuai ar y cyfrif hwnnw.

Herod a wrandawodd y gyffes hon gyd â chythruddiad cymmysg o gynddaredd ac ofn: rhyw rannau a ymddangosent iddo yn waradwyddus; a rhai yn ei wneuthur yn ddrwg-dybus

o'r peryglon a'i hamgylchai: yn gymmaint ag yr oedd ar bob cyfrif yn cael ei gythruddo, a than chwerw ofn rhag i ryw frad drymmach ei oddiweddyd fel na allai ddiangc. Efe gan hynny a ddanfonodd yspiwyr o amgylch i wylio y cyfryw ag a ddrwg-dybiai. Canys yr ydoedd yn awr wedi ei lethu â drwg-dybiau a chasineb at bawb o'i amgylch: a chan gynnwys gormodedd o'r dychymmygion hyn, mewn trefn i ddiogelu ei hun, efe a barhaodd yn wastadol i ammeu y rhai oedd ddieuog. Ac ni osododd ddim terfynau iddo ei hun: ond wrth feddwl mai y rhai agosaf atto oedd â gallu mwyaf i'w niweidio, yr oeddynt iddo yn fawr arswyd. Ac am y rhai na arferent ddyfod atto, ymddangosai yn hawdd eu cyfrif hwynt yn ddrwg-dybus; ac a farnai ei hun yn ddiogelach wedi eu difetha. Ac o'r diwedd ei gartrefyddion a ddaethant i'r meddyliau hynny, megis nad oeddynt yn sicr trwy un ffordd o ddiangc eu hunain, dechreuasant gyhuddo y naill y llall; gan ddychymmygu mai yr hwn yn gyntaf a gyhuddai arall, ydoedd debyccaf i'w achub ei hun. Etto pan ddad-ymchwelid rhyw rai gan eraill hwy a gasheid; a meddylid eu bod yn dioddef yn gyfiawn, y rhai yn anghyfiawn a gyhuddai eraill; a hwy yn unig trwy hynny a ragflaenent eu cyhuddiad eu hunain. Ië, hwy yn awr a osodent eu gelyniaeth neilltuol eu hunain mewn gweithrediad trwy'r moddion hyn; a phan eu dèlid hwy a gospid yn yr un modd. Fel hyn yr oedd y dynion yma yn dyfeisio gwneud defnydd o'u cyfleusderau, fel offeryn a magl yn erbyn eu gelynion: etto pan eu profasant, hwy a ddèlid eu hunain yn yr un magl a'r a osodent i eraill. A'r brenin a edifarhaodd am yr hyn a wnaethai; o herwydd nad oedd ganddo dystiolaeth amlwg o euogrwydd y rhai a laddwyd ganddo. Ac etto, yr hyn oedd yn fwy creulondeb ynddo, ni ddefnyddiai ei edifeirwch mewn trefn i adael heibio gwneuthur y cyffelyb drachefn; ond i'r diben i osod yr un cospedigaethau ar eu cyhuddwyr.

Yn y dull yma o annhrefn yr oedd achosion y palas: a Herod a ddywedasai eisoes wrth amryw o'i gyfeillion, yn ddigyfrwng, na ddylent ymddangos o'i flaen, na dyfod i mewn i'r palas: a'r rheswm am y gorchymmyn hwn ydoedd, mai pan fyddent yno, fod ganddo lai rhyddid i weithredu, neu fwy o attalfa arno ei hun o'u plegid hwynt. Canys ar yr amser hwn y bu ddarfod iddo ymwrthod ag Andromachus a Gemellus; gwŷr ag oedd gynt yn gyfeillion iddo, ac yn dra defnyddiol yn achosion y deyrnas: ac wedi bod yn fanteisiol i'w deulu trwy eu cennadwriaeth a'u cynghorion; ac hefyd yn athrawon i'w feibion; ac a oedd ganddynt, mewn ystyr, y radd bennaf o ryddid gyd ag ef. Gyrrodd ymaith Andromachus, am fod ei fab Demetrius yn gyfaill i Alexander; a Gemellus, o herwydd y gwyddai ei fod yn ewyllysiwr da iddo: wedi bod gyd ag ef yn ei ieuengctyd pan ydoedd yn yr ysgol, ac yn absennol yn Rhufain. Y rhai hyn a drodd allan o'i balas; ac ydoedd yn ddigon ewyllysgar i wneud yn waeth â hwynt. Ond fel na ymddangosai yn cymmeryd y fath ryddid at wŷr o sefyllfa mor barchus; boddlonodd ei hun â'u difuddio o'u mawredd, a diddymmu eu gallu i rwystro ym mlaen ei weithrediadau annuwiol.

Yn awr, awdwr yr holl ddrygau hyn ydoedd Antipater; yr hwn, wedi gwybod y ffordd wallgofus a phenrydd o weithredu oedd gan ei dad, efe a'i gyrrodd ym mlaen ar ffrwst yn yr unrhyw; ac yna fe dybiodd y dygai efe ef i wneud rhyw beth i bwrpas, wedi i bob un ai gwrthwynebai gael eu symmud ymaith. Gan hynny, wedi i Andromachus a'i gymdeithion gael eu gyrru allan, heb ddim rhyddid i ymddiddan â'r brenin yn hwy: y brenin yn y lle cyntaf a holodd trwy boenfa y rhai oll a feddyliodd fod yn ffyddlon i Alexander; pa un ai a wyddent am ryw gynhygion o'i eiddo ef i'w erbyn: ond y rhai hyn a fuont feirw, heb ganddynt ddim i'w ddywedyd ynghylch y matter hwnnw.

Ni ddarfu i hyn, pa fodd bynnag, ond gwneud y brenin yn fwy tanbaid am ddatguddiadau, pan na fedrai gael allan pa weithredoedd drwg yr oedd yn eu hammeu o'u plegid. Am Antipater, yr oedd yn dra chyfrwys ynghyfodiad enllib yn erfyn rhai ag oedd mewn gwirionedd yn ddieuog; fel pe buasai eu gwadiad yn arwydd o barhad eu ffyddlondeb i Alexander; ac ar hynny

y cynnyrfwyd Herod i wneuthur datguddiadau trwy boenfa llaweroedd, pa ryw gynnygiadau i'w erbyn oedd etto yn guddiedig. Yn awr yr ydoedd rhyw un ym mysg y nifer a boenwyd, yr hwn a addefodd, y gwyddai ddarfod i'r gwr ieuangc ddywedyd yn fynych, pan ganmolid ef am uchder ei berson, a'i fod yn annelydd cywrain, ac mewn ymarferiadau milwraidd eraill, ei fod yn rhagori ar bawb: y cymmwysderau hyn a roddasid iddo wrth natur, ni buont fanteisiol iddo; o herwydd fod ei dad yn gofidio ac yn eiddigeddu wrtho o'u plegid; a phan gyd-rodiai â'i dad, efe a arferai ymostwng a phlygu ei hun, fel nad ymddangosai o daldra gormodol; a phan saethai at ryw beth yn ei helwriaeth, pan fyddai ei dad gerllaw, efe a fethai ei nod yn bwrpasol; canys efe a ddeallodd pa mor awyddus oedd ei dad i ragori yn y fath ymarferiadau. Felly wedi arteithio 'r dyn i gael y cyfaddefiad ganddo, ac esmwythâu arno yn ol hynny; efe a chwanegodd, fod ganddo ei frawd Aristobulus yn gynnorthwy, ac yn arfaethu ymaros mewn gwiliadwriaeth am eu tad pan fyddant ar helwriaeth, a'r pryd hwnnw ei ladd ef: ac wedi gwneuthur hynny, ffoi ymaith i Rufain, i ddymuno i'r deyrnas gael ei rhoddi iddynt. Cafwyd llythyrau hefyd wedi eu hysgrifennu oddiwrth y gŵr ieuangc at ei frawd; ym mha rai yr achwynodd nad oedd ei dad yn gwneuthur cyfiawnder, wrth roddi i Antipater wlad ag oedd â'i theyrnged flynyddol yn cyrhaeddyd i ddau cant o dalentau. Ar y cyfaddefiadau hyn, meddyliodd Herod yn union, fod ganddo ryw beth a allai hyderu arno, yn ei dyb ei hun, ymherthynas i'w ddrwg-dybiau am ei feibion. Felly efe a gymmerodd i fynu Alexander, ac a'i rhwymodd ef. Etto 'r oedd efe fyth yn anesmwyth, ac heb ei gwbl foddloni am wirionedd yr hyn a glywsai. Ac wedi adgoffa ei hun, efe a gafodd nad oedd ond achwyniaeth ac ymryson ieuengctyd: ac mai peth anghredadwy ydoedd, y byddai i'w fab wedi ei ladd ef fyned yn ebrwydd i Rufain i ddeisyf cael y deyrnas. Felly 'r oedd yn ewyllysio cael ymhellach ryw sicrach arwydd o ddrygioni ei fab; ac yr oedd yn dra awyddus yn ei gylch, fel nad ymddangosai roddi o hono ef yngharchar yn rhy fyrbwyll. Felly efe a arteithiodd y rhai pennaf o gyfeillion Alexander, ac a roddodd nid ychydig o honynt i farwolaeth, heb dderbyn dim o'r pethau hynny ganddynt ag yr oedd efe yn eu disgwyl. A phan oedd Herod yn dra phrysur ynghylch yr achos hwn, a'r palas yn llawn dychryn a chynnwrf; un o'r rhai ieuangaf, pan oedd yn yr ing mwyaf ar ermyg y boenfa, a gyffessodd ddarfod i Alexander ddanfon at ei gyfeillion yn Rhufain; gan ddymuned cael o hono wahoddiad ar fyrder i ddyfod yno at Cæsar; ac y gallai efe wneuthur datguddiad o fradwriaeth yn ei erbyn: Bod Mithridates, brenin Parthia, yn uno mewn cymdeithasrwydd â'i dad yn erbyn y Rhufeiniaid; a bod ganddo ef ddiod-feddyginiaeth o wenwyn wedi ei pharottoi yn Ascelon.

I'r cyhuddiadau hyn Herod a roddodd grediniaeth; ac a fwynhaodd wrth hyn, yn ei amgylchiad truenus, ryw fath o gyssur, yn ei esgusodiad o'i fyrbwylldra; ac megis yn gwenieithio iddo ei hun â chaffael allan bethau mewn cyflwr mor beryglus. Ond am y ddiod-feddygol o wenwyn, yr hon a ymdrechodd i ddyfod o hyd iddi, ni chafodd y fath beth â hi. Am Alexander, yr ydoedd yn mawr chwenychu mwyhau yr aml drallodion yr oedd tanynt. Felly fe gymmerai arno na wadai y cyhuddiadau, ond a gospodd fyrbwylldra ei dad â helaethach bai o'r eiddo ei hun; ac ysgatfydd ei fod yn ewyllysio cywilyddio ei dad â chrediniaeth barod o'r fath enllibiau; efe a amcanodd yn enwedig, os gallai ennill cred i'w hanesiad, ei fiuo ef a'i holl deyrnas. Canys efe a ysgrifennodd bedwar o lythyrau, ac a'u danfonodd atto ef, gan ddywedyd, na raid iddo boeni ychwaneg o ddynion, am ei fod ef wedi bradwriaethu yn ei erbyn: a bod ganddo yn gyd-gyfrannog ag ef Pheroras, a'r rhai ffyddlonaf o'i gyfeillion: a dyfod Salome atto liw nos, a mynnu gorwedd gyd ag ef, pa un bynnag ai bodd neu anfodd: a bod pawb wedi dyfod o'r un feddwl, i ymwneud am dano ef mor gynted ag y gallent; ac felly i gael llonydd oddiwrth yr ofnau parhâus yr oeddynt tanynt o'i blegid ef. Ym mysg y rhai hyn yr

oedd Ptolemy a Spinnius yn gyhuddol, y rhai a fuont gyfeillion ffyddlon i'r brenin. A pha beth ychwaneg a ellir ddywedyd? na darfod i'r rhai a fu 'n gyfeillion agosaf, ddyfod fel bwystfilod rheibus y naill i'r llall, megis pe buasai math o gynddeiriogrwydd wedi eu meddiannu: pan nad oedd lle o ymddiffyn neu wrth-ddywediad wedi ei adael, mewn trefn i amlygu 'r gwirionedd; ond oll ar antur wedi eu bwrw i'w difetha. Felly rhai a alarent oblegid y sawl oedd yngharchar; a rhai o herwydd y rhai hyny a ddodid i farwolaeth; ac eraill a ofidient am eu bod tan ddisgwyliad o'r un trueni: a thristwch anghyfannedd a ammhrydferthodd y deyrnas, ac a'i gwnaeth yn wrthwyneb i'r cyflwr dedwyddol yr ydoedd gynt ynddo. Herod ei hun hefyd ydoedd mewn anesmwythder am ei fywyd: ac am nas gallai ymddiried i neb, yr ydoedd tan gospedigaeth drom trwy ddisgwyliad am fwy trueni. Canys efe a ddychymmygai yn fynych fod ei fab wedi syrthio arno, neu yn sefyll â chleddyf yn ei law wrth ei ochr ef. A dyma fel yr oedd ddydd a nos a'i fyfyrdod ar hyn, ac yn ei olygu trosodd drachefn a thrachefn, heb fod yn anhebyg i un mewn gwallgofrwydd.

Ond pan glybu Archelaus, brenin Cappadocia, am y cyflwr yr oedd Herod ynddo, yr ydoedd mewn anesmwythder mawr oblegid ei ferch, a'r dyn ieuangc ei gŵr hi: ac yr oedd yn cyd-ofidio â Herod, megis tros un a fai'n gyfaill iddo: ac ar gyfrif yr anesmwythder mawr yr ydoedd ynddo, efe a ddaeth i Jerusalem * yn bwrpasol i wastattâu eu hymrafaelion. Ac wedi cael Herod yn y fath dymmer, efe a'i barnodd yn amser anghymmwys i'w geryddu ef, neu arwyddo ddarfod iddo wneuthur rhyw beth yn fyrbwyll; oblegid y byddai iddo o naturiaeth wrth hynny ei arwain i ddadleuon; ac wrth ei amddiffyn ei hun, y byddai fwyfwy wedi ei gythruddo. Efe gan hynny a gymmerodd ffordd arall i weithio, mewn trefn i ddiwygio yr anghydfod rhagflaenol; ac fe a ymddangosodd megis yn ddig wrth y gŵr ieuangc, ac a ddywedodd fod Herod mewn tymmer nawsedd, ac na wnaethai ddim yn fyrbwyll oll. Dywedodd hefyd y rhyddhâi efe ei ferch oddiwrth ei phriodas ag Alexander: ac nad arbedai o gyfiawnder ei ferch ei hun, os ydoedd yn gwybod am ryw beth neillduol, a'r na hyspysai Herod o'i blegid. Pan ymddangosodd fod Archelaus o'r dymmer hon, ac yn amgen nag yr oedd disgwyliad a dychymmyg Herod; ac yn bennaf yn cymmeryd plaid Herod, a'i fod yn ddigllon ar ei gyfrif ef: y brenin a leihaodd yn ei sarrugrwydd, ac a gymmerodd achlysur oddiwrth yr ymddangosiad o ddarfod iddo wneuthur yn uniawn hyd yn hyn, i ddodi am dano yn raddol serchowgrwydd tad; ac a ydoedd i dosturio wrtho gan bob ochr. Canys wedi i rai personau wrthwynebu'r cyhuddiad a wnaethpwyd yn erbyn y dyn ieuangc, efe a daflwyd i wylltineb: ond ag Archelaus yn uno â'r cyhuddiad, efe a ymollyngodd i dywallt dagrau, ac i alar, mewn modd tra charedig. Yn ganlynol efe a ddymunodd na ddattodai brïodas ei fab; ac a ddaeth i beidio bob mor ddigllon ag o'r blaen wrth ei droseddiadau. Felly wedi i Archelaus ei ddwyn i dymmer fwy cymmedrol, efe a symmudodd y cyhuddiadau ar ei gyfeillion; gan ddywedyd, mai rhaid ei fod o'u hachos hwynt, darfod i ddyn mor ieuangc, ac un oedd yn anadnabyddus â malais, gael ei lygru: ac efe a feddyliodd fod mwy achos i ddrwg-dybied y brawd, na'r mab. Ar yr hyn Herod a fawr anfoddlonwyd tu ag at Pheroras; yr hwn yn wir nid oedd yn awr ganddo neb a wnai gymmod rhyngddo ef â'i frawd. Felly pan welodd mai Archelaus oedd â'r awdurdod fwyaf ganddo gyd â Herod; rhoddodd ei hun i fyned atto ef ar wedd galarwr, ac yn debyg i un â phob arwyddion arno ei fod wedi ei ddadwneuthur? Ar hyn nid edrychodd Archelaus tros ben yr erfyniadau yr oedd yn eu gwneuthur atto; ac ni chymmerodd arno yn uniongyrch gyfnewid tuedd y brenin tu ag atto. Ond efe a ddywedodd fod yn well iddo ei hun ddyfod at y brenin, a chyfaddef yr holl achos i gyd ei hunan; ac y gwnai hyn i anfoddlonrwydd y brenin fod yn llarieiddiach tu ag atto; ac y byddai efe yno yn bresennol i'w gynnorthwyo;

* Bl. 8.

wedi ei berswadio i hyn, efe a ynnillodd ei bwynt; a'r enllibiau yn erbyn y gŵr ieuangc, tu hwnt i bob disgwyliad, a sychwyd ymaith. Ac Archelaus, wedi gorphen gwneuthur cymmod rhyngddynt, a aeth ymaith i Cappadocia; wedi bod ar yr amser hwn yn fwyaf defnyddiol a chymmeradwy gan Herod o neb yn y byd. Ar ba achos efe a roddodd iddo anrhegion tra chyfoethog, fel arwydd o'i barchedigaeth: ac wedi bod ar achosion eraill yn wasanaethgar iddo, efe a'i cyfrifodd yn un o'i gyfeillion anwylaf. Efe hefyd a wnaeth gyttundeb ag ef i fyned i Rufain, o herwydd efe a 'sgrifenasai at Cæsar ynghylch yr achosion hyn. Felly hwy a gyd-deithiasant cyn belled ag Antioch; ac yno y gwnaeth Herod gymmod rhwng Archelaus â *Titius, Rhaglaw Syria, y rhai a fuasent tan ymraniadau mawrion;ac yna efe a ddychwelodd yn ol i Judea.

## PENNOD IX.

*Am wrthwynebiad y Traconitiaid; a'r cyhuddiad a osodwyd yn erbyn Herod yn Rhufain.*

WEDI bod Herod yn Rhufain, a'i ddychwelyd yn ol drachefn, cyfododd rhyfel rhyngddo ef â'r Arabiaid, † ar yr achlysur canlynol. Trigolion Trachonitus, wedi i Cæsar gymmeryd y wlad oddiar Zenodorus, a'i rhoddi i Herod, nid oedd ganddynt yn awr allu i yspeilio; ond a oeddynt yn gorfod llafurio'r tir, a byw mewn llonyddwch; yr hyn oedd beth nad oeddynt yn ymhyfrydu ynddo. Ac wedi iddynt gymmeryd y llafur hwnnw ni ddygai lawer o ffrwyth. Pa fodd bynnag, ar y cyntaf ni chydsyniai y brenin â'u hymarfer o yspeilio; felly gorfu iddynt ymattal â'r ffordd honno o fywiolaethu yn anghyfiawn ar bwys eu cymmydogion; yr hyn a ynnillasai i Herod glod mawr am ei ofal ymherthynas i hyn. Ond pan ydoedd yn mordwyo i Rufain mewn trefn i gyhuddo ei fab Alexander, ac i draddodi Antipater i ofal Cæsar; y Trachonitiaid a daenasant air allan ei fod wedi marw; gan wrthdroi oddi tan ei arglwyddiaeth; ac a aethant i'w hen arferion drachefn o yspeilio eu cymmydogion. Ar ba amser blaenoriaid lluoedd y brenin a'u darostyngasant yn ei absenoldeb. Ond ynghylch deugain o'r yspeilwyr pennaf, wedi eu dychrynu oblegid y rhai a gymmerasid, a adawsant y wlad, ac a aethant ymaith i Arabia: a Sylleus yn eu croesawi, wedi methu o hono gael priodi Salome, a rhoddi lle o gadernid iddynt, ym mha un yr oeddynt yn trigo. Felly hwy a anrheithiasant, nid yn unig Judea, ond holl Cœlesyria hefyd, gan ddwyn yr ysglyfaeth ymaith; â Sylleus yn caniattau iddynt le o ddiogelfa a llonyddwch tra'r arferasant eu drygioni hwn. Ond pan ddaeth Herod yn ol o Rufain, efe a ganfu ei lywodraethau wedi eu niweidio yn fawr ganddynt: a phan na allai gyrraedd hyd at yr yspeilwyr eu hunain, o herwydd cadernid y mannau i ba rai y cilient yn y wlad honno; a'r rhai ag oedd y llywodraeth Arabaidd yn ei ganiattâu iddynt: ac etto wrth fod yn dra anesmwyth o herwydd y drygan a wnaethent iddo, efe a aeth tros holl Trachonitis, ac a laddodd eu perthynasau hwynt. Pa fodd bynnag, yr yspeilwyr hyn oeddynt fwy digllon nag o'r blaen; gan ei bod yn gyfraith osodedig yn eu mysg, i ddial eu hunain a'r fwrddrwyr eu teuluoedd trwy bob moddion a allent. Felly hwy a barhasant i rwygo a dinystrio pob peth tan lywodraeth Herod gyd ag angherydd. Yna'r ymddiddanodd Herod ynghylch yr yspeiliadau hyn ‡ â Saturninus a Volumnius, gan ofyn am gospi'r yspeilwyr. Ar ba achos hwy a ymgadarnhasant eu hunain yn fwy rhag llaw yn eu lledrad; ac a ddaethant yn amlach eu nifer, gan beri aflonyddwch mawr; a gwneuthur yn anghyfannedd wledydd a phentrefydd ag oedd yn perthynu i deyrnas Herod, a lladd y dynion hynny ag a ddalient; hyd oni thyfodd y mynediadau hyn ym mlaen i fod yn gyffelyb i ryfel cyhoeddus: canys yr yspeilwyr ydoedd wedi cynnyddu yn awr i gylch mil o nifer. Wrth

* Y Titius hwn a grybwyllir gan Strabo, XVI. t. d. 515. oddiwrth yr hyn y Dr. Hudson a ddiwygiodd y darlleniad cyffredin Titus. Pa ryw ddarlleniad o eiddo Strabo a gadarnheir gan un Groeg, a'r rhan fwyaf o gopiau Lladin Josephus, fel y gellir yn gyfiawn ei ddewis o flaen y llall. Bl. 7.

‡ Y cydraglawiaid hyn o Syria, Saturninus a Volumnius, nid oeddynt ysgatfydd o gydradd awdurdod; ond y diweddaf megis dirprwywr, neu oruchwyliwr tan y llall, fel y mae y dysgedig Neris, a Dr. Hudson yn penderfynu.

hyn yr oedd Herod yn dra anfoddlon, yn gystal ag oblegid yr arian a fenthyccasai i Obodas gyd â Sylleus, yr hyn ydoedd drugain mil o dalentau: ac megis yr oedd amser taledigaeth yn awr wedi myned trosodd, efe a ofynnodd am eu talu iddo Ond Sylleus yr hwn a ddodasai Obodas o'r neilldu, gan drefnu matterion oll ei hunan, a wadodd fod yr yspeiliadau yn Arabia; ac a wrthododd dalu'r arian. Ynghylch yr hyn y bu dadleuaeth o flaen Saturninus a Volumnius, y rhai ydoedd y pryd hynny yn rhaglawiaid Syria. O'r diwedd efe trwy'r moddion o honynt hwy a gyttunodd o fewn i ddeng niwrnod ar hugain, fod yr arian i gael eu talu i Herod; a bod i'r naill a'r llall o honynt roddi eu deiliaid i fynu i'w gilydd yn adgyrchiol. Yn awr am Herod,nid oedd o ddeiliaid y llall i'w cael yn ei deyrnas ef, un ai yn gwneud anghyfiawnder, neu ar un cyfrif arall: ond fe brofwyd fod gan yr Arabiaid yr yspeilwyr yn eu mysg hwynt.

Wedi i'r dydd nodedig i dalu fyned heibio, heb ddarfod i Sylleus gyflawni un rhan o'i gyttundeb, ac yntau wedi myned i Rufain, Herod a ofynnodd yr arian; a bod i'r yspeilwyr a gaed yn Arabia gael eu rhoddi i fynu: a thrwy gydsyniad Saturninus a Volumnius, efe a gyflawnodd y farn ei hunan ar y rhai anhydyn ac afreolus. Cymmerodd gyd ag ef fyddin i Arabia. A phan ddaeth at y wersyllfa lle'r oedd yr yspeilwyr, efe a wnaeth ruthr arnynt, ac a'u cymmerodd oll, ac a ddadymchwelodd y lle, yr hwn a elwid Raepta; ond ni wnaeth niweid i neb arall. Ond fel ag y daeth yr Arabiaid yn gynnorthwy iddynt, tan lywodraeth Naceb eu cadben,brwydr a ganlynodd rhyngddynt, ym mha un ychydig o filwyr Herod, a Naceb, cadben yr Arabiaid, ac ynghylch ugain o'i filwyr a gwympasant; tra y darfu i'r lleill roddi eu hunain i ddiangc ymaith. Felly wedi dwyn y rhai hyn i gospedigaeth, efe a osododd dair mil o Idumeaid yn Trachonitis, ac wrth hynny a attaliodd yr yspeilwyr oedd yn myned ym mlaen yno. Efe hefyd a ddanfonodd gyfrif o'r hyn a wnaethai i'r cadbeniaid oedd o amgylch Phœnicia, ac a ddangosodd na chwblhaodd ddim ond yr hyn oedd ddyledus arno wrth gospi'r Arabiaid afreolaidd; yr hyn, ar ymofyniad cywir, a gawsant heb fod ychwaneg na'r hyn oedd wir.

Pa fodd bynnag, prysurwyd i ddanfon negeseuwyr ymaith at Sylleus yn Rhufain, i hyspysu iddo yr hyn a wnaethid, ac, fel y mae'n arferol, a chwanegasant at bob peth. Yn awr, Sylleus eisoes a weithiasai ffordd iddo ei hun i gydnabyddiaeth â Cæsar, ac ydoedd yr amser hwnnw o amgylch y palas, A chyn gynted ag y clywodd am y pethau hyn, efe a ddododd alarwisg am dano, gan fyned i mewn a mynegi i Cæsar, fod Arabia tan drallodion rhyfel, a bod ei holl deyrnas mewn terfysg mawr, wedi i Herod ei difrodi â byddin: ac a ddywedodd, gyd â dagrau, fod dwy fil a phum cant o bennaethiaid Arabia wedi eu difetha: a bod eu cadben, Naceb, ei gyfaill a'i garennydd, wedi ei ladd; a'r trysorau ydoedd yn Raepta wedi eu dwyn ymaith; a bod Obodas yn cael ei ddiystyru; gwendidau pa un oedd yn ei anghymmwyso i fyned i ryfel: ar ba gyfrif nid oedd efe na'r fyddin Arabaidd yn bresennol. Efe hefyd a chwanegodd yn faleisus, na ddaethai ei hun o'r wlad, oddi eithr credu o hono y byddai i Cæsar drefnu ffordd ag y gallent oll fod mewn heddwch â'u gilydd; ac mai, pe buasai efe yno, y cymmerasai ofal na chawsai y rhyfel fod er mantais i Herod. Cæsar a gythruddwyd pan ddywedwyd hyn; ac ni ofynnodd ychwaneg na'r un cwestiwn yma, yn gystal i gymdeithion Herod oedd yno, a'i gyfeillion ei hun a ddaethant o Syria, Pa un a arweiniasid byddin yno gan Herod? Ac wedi gorfod iddynt gyffesu hynny, Cæsar, heb aros i wrando am ba reswm y gwnaethai hynny, a pha fodd y daethai o amgylch, a dyfodd yn dra digllon, ac a ysgrifennodd yn llym at Herod. Swm yr epistol ydoedd hyn; sef, "Darfod iddo gynt ei arferyd megis cyfaill; ond yr arferai ef yn awr fel un o'i ddeiliaid." Sylleus hefyd a ddanfonodd yr hanes o hyn at yr Arabiaid: y rhai a lawenychasant gymmaint o'i herwydd, fel na roddasant i fynu'r yspeilwyr a ddiangasai attynt hwy, ac ni thalasant yr arian oedd ddyledus arnynt. Cadwasant hefyd y porfeydd hynny a gyflogasent, heb dalu ardreth am danynt: a hyn i gyd o herwydd fod

brenin yr Iuddewon yn awr mewn amgylchiad isel, ar gyfrif anfoddlonrwydd Cæsar tu ag atto. Y rhai hynny o Trachonitis hefyd a ddefnyddiasant y cyfleusdra hwn, ac a godasant i fynu yn erbyn y gwersyll o Idumeaid; ac a ddilynasant yr un ffordd o yspeilio a'r Arabiaid, y rhai a anrheithiasant eu gwlad: ac a oeddynt yn fwy diymarbed yn eu drwg-weithredoedd, nid yn unig mewn trefn i elwa wrtho, ond mewn ffordd o ymddial hefyd.

Yn awr, fe orfu i Herod gyd-ddwyn â hyn oll, gan fod yr hyder ag oedd ganddo yn ffafr Cæsar, â pha un y cefnogid ef, wedi ei gymmeryd ymaith: oblegid Cæsar ni chaniattäi wneuthur derbyniad o gennadwri oddiwrtho i'w amddiffyn ei hun; ac wedi dyfod atto drachefn efe a'u danfonodd ymaith yn ddiwrandawiad. Felly'r ydoedd Herod wedi ei fwrw i dristwch ac ofn: a sefyllfa Sylleus a'i blinodd yn ddirfawr, i'r hwn y rhoddid crediniaeth yn awr gan Cæsar, ac ydoedd yn bresennol yn Rhufain; ac weithiau yn ymgyfodi yn uwch. Yn awr, fe ddaeth o amgylch farw Obodas, ac Eneas, enw'r hwn a newidid yn ol hynny i *Aretas, a gymmerodd arno'r llywodraeth. Canys Sylleus a ymdrechodd trwy enllib i gael ei droi ef allan o'i dywysogaeth, fel y cymmerai hi iddo ei hun. Gyd â pha fwriad efe a roddodd arian lawer i wŷr y llys, ac a addawodd lawer o arian i Cæsar: yr hwn yn wir ydoedd anfoddlon am na ddanfonasai Aretas atto ef yn gyntaf, cyn iddo gymmeryd y deyrnas. Er hynny Eneas a ddanfonodd Epistol ac anrhegion i Cæsar; a choron aur o bwys llawer o dalentau. Yn awr, yr epistol oedd yn cyhuddo Sylleus; megis wedi ei fod yn was drygionus, a darfod iddo ladd Obodas â gwenwyn: a phan ydoedd yn fyw, ei fod yn ei lywodraethu fel y mynnai: ei fod hefyd wedi halogi gwragedd yr Arabiaid; a benthycca arian, mewn trefn i gael yr arglwyddiaeth iddo ei hun. Etto ni chymmerodd Cæsar sulw o'r cyhuddiadau hyn; ond a ddanfonodd ei gennadwyr yn ol, heb wneuthur derbyniad o ddim o'i anrhegion. Ond yn y cyfamser achosion Judea ac Arabia a ddaethant waeth-waeth; mewn rhan oblegid yr aflywodraeth yr oeddynt tano; ac mewn rhan arall, er gwaethed oeddynt, nid oedd gan neb awdurdod i'w llywodraethu hwynt. Canys am y ddau frenin, yr ydoedd un o honynt heb ei sefydlu etto yn ei deyrnas, ac felly nid oedd awdurdod ddigon ganddo i attal drwg-weithredwyr. Ac am Herod, yr oedd Cæsar yn ddig wrtho am ymddial ei hun: ac felly y gorfu iddo ddwyn yr holl ammharch a gynnygid iddo. O'r diwedd pan na chanfu ddiben ar y drygau oedd yn ei amgylchu, efe a ymrodd i ddanfon cennadwyr i Rufain drachefn; i wybod a oedd ei gyfeillion wedi llwyddo gyd â Cæsar, ac i ymddiddan ag ef eu hunain. A'r cennadwr a ddanfonodd ydoedd Nicolaus o Damascus.

## PENNOD X.

*Meibion Herod yn cael eu dodi mewn rhwymau ar gau-gyhuddiad Eurycles; Sylleus yn cael ei gyhuddo gan Nicolaus o Damascus.*

YR annhrefn yn nheulu Herod a'i blant a dyfodd y pryd hwn yn llawer gwaeth: canys fe ymddangosodd yn awr, fod damwain neu ragluniaeth yn bwgwth drygau a blinderau mwyaf anhawdd eu goddef i'w deyrnas. Ei ddyfodiad ym mlaen a'i gynnydd yn yr amser hwn a gyfododd ar yr achlysur canlynol. Un Eurycles, Lacedæmoniad, (gwr cyfrifol yno, ond yn ddyn gŵyr-draws ei feddwl, ac mor gyfrwys yn ei ffordd o afradlonedd a gweniaith, ag i feithrin pob un, ac etto yn ymddangos heb feddu ar un o honynt,) a ddaeth yn ei ymdaith at Herod, gan wneuthur anrhegion iddo; ond yn y cyfryw fodd ag y derbyniodd fwy o anrhegion ganddo ef. Cymmerodd hefyd y fath amser manteisiol yn achlysur i'w ddwyn ei hunan i mewn i'w ffafr ef, fel ag y daeth yn un o gyfeillion pennaf y brenin. Yr ydoedd yn llettya yn nhŷ Antipater: ac yr oedd ganddo nid yn unig agosâd, ond rhydd ymddiddaniad ag Alexander; megis yn cymmeryd arno wrtho ef ei fod mewn

* Yr Aretas yma ydoedd wedi dyfod yn awr yn enw morgadarnhaol am frenhinoedd Arabia, yn Petra a Damascus; fel pan ddaeth y goron i'r Eneas hwn, efe a newidiodd ei enw i Aretas; fel y mae Havercamp yn iawn sylwi yma. Gwel y nod ar XIII. 15.

ffafr fawr ag Archelaus, brenin Cappadocia; oddiwrth yr hyn yr ymddangosai yn mawr barchu Glaphyra; ac mewn modd dirgelaidd a dynnodd gyfeillach â hwynt i gyd; ond bob amser y cymmerai sulw o'r hyn a wnaed neu a ddywedid, fel y byddai enllibiau yn barod ganddo i'w boddhau oll. Yn fyrr, fe ymddangosodd ei hun yn y fath fodd tu ag at bawb yn ei ymddiddanion, megis pe buasai gyfaill neillduol: a gwnaeth i eraill gredu, mai trwy ei fod yn unrhyw fan a fyddai er mantais y dyn hwnnw. Felly fe ennillodd ar Alexander, yr hwn nid oedd ond ieuangc; ac a'i perswadiodd y gallai wneud ei feddwl yn hyspys iddo ef gyd â diogelwch. Felly efe a adroddodd iddo y modd yr oedd ei dad wedi ymddieithro oddiwrtho ef; ac hefyd ynghylch amgylchiad ei fam: a'r modd yr oedd Antipater wedi eu difuddio o'i buchelfraint berthynasol; a'r awdurdod ar y cwbl wedi ei gael i'w law ei hun: nad oedd un rhan o'r pethau hyn yn oddefol, pan oedd ei dad eisoes wedi dyfod i'w gasâu: a chwanegodd na chaent ddyfod at ei fwrdd, nac i'w gyfeillach ef. Y cyfryw ydoedd achwyniad Alexander am y pethau oedd yn ei flino ef. A'r ymddiddanion hyn a draddododd Eurycles i Antipater; gan ddywedyd nad oedd yn ei wneud yn hyspys o hyn o'i ran ei hunan: ond wedi ei gymmell gan ei garedigrwydd tu ag atto, meddyliodd fod pwysfawrogrwydd y peth yn ei rwymo i'w wneuthur; ac efe a'i rhybuddiodd i gymmeryd gofal oddiwrth Alexander; oblegid fod yr hyn a ddywedasai wedi ei lefaru gyd â gradd o danbeidrwydd; ac mai, mewn canlyniad i'r hyn a ddywedodd, y byddai sicr o'i ladd â'i law ei hun. Ar hyn Antipater, gan feddwl ei fod yn gyfaill ffyddlon iddo trwy'r annogaeth yma, a roddodd anrhegion iddo ar bob achlysur; ac o'r diwedd efe a'i perswadiodd i fynegi i Herod yr hyn a glywsai. Felly pan adroddodd i'r brenin am ddrwg-dymmer Alexander, wedi ei amlygu trwy'r geiriau a glywsai eu llefaru ganddo; efe a roddodd grediniaeth iddo yn ebrwydd; a thrwy hynny efe a ddygodd y brenin i'r fath gyffroad, fel, gan droi o amgylch ar glywedigaeth ei ymadrodd, efe a gythruddwyd nes i'w gasineb gynnyddu tu ag atto, a'i wneud yn anymbilgar; yr hyn a ddangosodd y pryd hwnnw; canys efe yn ebrwydd a roddodd i'r cyhuddwr ddeg a deugain o dalentau. Eurycles ar hynny a aeth at Archelaus, brenin Cappadocia; ac a ganmolodd Alexander ger ei fron ef; ac a ddywedodd wrtho, ei fod ef trwy amryw ffyrdd wedi gwneuthur gwasanaeth iddo, yn enwedig wrth ei gymmodi ef â'i dad. Felly efe a gafodd arian ganddo yntau hefyd, ac a aeth ymaith cyn cael allan ei ymarferiadau drygionus. Ond wedi dychwelyd Eurycles yn ol i Lacedæmon, ni adawodd heibio wneuthur drwg; ac felly o blegid amryw weithredoedd anghyfiawn, efe a alltudiwyd o'i wlad ei hun.

Ond nid oedd brenin yr Iuddewon o'r dymmer ag a fuasai ynddi o'r blaen tu ag at Alexander, ac Aristobulus; pan foddlonodd ar wrando eu henllibiau, a fynegai rhyw un iddo am danynt. Ond yr ydoedd yn awr wedi dyfod i'w casâu o hono ei hun; ac yn gyrru eraill i ddywedyd yn eu herbyn, yr hyn ni's gwnaent o honynt eu hunain. Efe hefyd a ddaliodd sulw ar yr hyn oll a ddywedid o'i amgylch; gan ddodi cwestiynau, a chlust-ymwrando â phawb a lefarai am danynt, os medrent ddywedyd rhyw beth i'w herbyn: hyd oni chlywodd o'r diwedd am Euaratus o Cos, ei fod yn gydfradwriaethwr ag Alexander: yr hyn beth i Herod oedd y newydd mwyaf dewisol.

Eithr mwy anhap a ddaeth etto ar y gwŷr ieuaingc, pan oedd yr enllibiau i'w herbyn yn wastad yn cynnyddu; ac, fel y gall un ddywedyd, tebygid fod pawb yn ymdrechu i osod rhyw beth gofidus yn eu herbyn, ag a ymddangosai fod er diogelwch i'r brenin. Yr ydoedd dau o warchawdlu Herod, y rhai oedd mewn cyfrif mawr am eu nerth a'u huchder; Jacundus a Tyrannus. Y dynion hyn wedi eu gyrru ymaith gan Herod, yr hwn a anfoddlonwyd ganddynt, yn awr a arferent farchogaeth o amgylch gyd ag Alexander, ac ar gyfrif eu cywreindeb tan arfau yr oeddynt yn dra chymmeradwy ganddo; ac a gawsant beth aur, a rhoddion eraill wedi eu cyfrannu iddynt. Yn awr y brenin yn drwgdybio yn uniongyrch am y dynion hyn, a fynnodd eu harteithio hwynt.

Dioddefasant y boenfa yn gefnog tros hir amser; ond o'r diwedd a gyfaddefasant, y mynnai Alexander eu perswadio i ladd Herod, pan fyddai yn ei helwriaeth ar ol bwystfilod gwylltion; fel y gellid dywedyd syrthio o hono oddiar ei farch, a'i redeg trwodd gan ei gleddyf ei hun: oblegid cael o hono y fath anhap mewn amser gynt. Dywedasant hefyd pa le yr oedd arian wedi eu cuddio yn llawr y march-dŷ: a hwy a gyhuddasant ben-heliwr y brenin, ei fod wedi rhoddi i'r dynion ieuaingc y brenhinol gleddyfau-hela, a'r arfogaeth i Alexander a'i weision, wrth ei orchymmyn ef.

Ar ol y rhai hyn, blaenor y gwersyll yn Alexandrium a ddaliwyd ac a arteithiwyd. Canys efe a gyhuddasid o ddarfod iddo addaw derbyn y gwŷr ieuaingc i'w amddiffynfa, a'u diwallu â'r arian hynny o eiddo'r brenin a osodasid i fynu yno. Etto ni chyfaddefodd efe ddim o hono ei hun; ond ei fab a ddaeth i mewn, ac a ddywedodd fod y peth felly, ac a roddodd i fynu yr ysgrifeniadau; y rhai mor bell ag y gellid dyfalu, ydoedd yn ysgrifen-law Alexander ei hun. Ei gynnwysiad ydoedd fel hyn: "Pan orphenom, trwy gymmorth Duw, yr hyn oll a fwriadasom ei wneuthur, nyni a ddeuwn attoch chwi; ond gwnewch eich goreu, megis ag yr addawsoch, i'n cymmeryd ni i mewn i'ch amddiffynfa." Ar ol cael yr ysgrifen hon, nid oedd gan Herod ddim amheuaeth am amcan bradwriaethus ei feibion yn ei erbyn. Ond Alexander a ddywedodd, mai Diophantus yr ysgrifenydd a ddynwaredasai ei law ef; a darfod i'r papurau gael ei luniaethu yn faleisus gan Antipater. Canys yr oedd Diophantus yn ymddangos yn dra chelfyddus yn y fath ymarferiad; ac fel y cyhuddwyd ef yn ol hynny o ffug-lunio papurau eraill, efe a roddwyd i farwolaeth o'u herwydd.

Y brenin wedi hynny a ddygodd y rhai a arteithiwyd o flaen y lliaws yn Jericho, mewn trefn i gael ganddynt gyhuddo y gwŷr ieuaingc. Y cyhuddwyr yma a labuddiwyd gan lawer o'r bobl i farwolaeth: a phan oeddynt yn myned i ladd Alexander ac Aristobulus hefyd, ni adawodd y brenin iddynt wneuthur felly; ond a attaliodd y lliaws trwy'r moddion o Ptolemy a Pheroras. Pa fodd bynnag, y gwŷr ieuaingc a ddodwyd tan wyliadwriaeth, ac a gadwyd mewn dalfa, fel na chai neb ddyfod attynt hwy; a'r hyn oll a wnaethant neu a ddywedasant a ddaliwyd sulw arno: a'r gwaradwydd a'r ofn yr oeddynt tano nid oedd ddim llai na'r eiddo drwg-weithredwyr wedi eu bwrw yn euog. Ac Aristobulus oedd wedi ei drallodi gymmaint, fel y dygodd Salome, ei fodryb a'i fam-ynghyfraith i alaru gyd ag ef oblegid ei gystuddiau; a'i gasâu ef yr hwn a ddioddefasai i bethau fyned mor bell: pan y dywedodd hefyd wrthi, "Onid wyt tithau mewn perygl o ddinystr hefyd; pan y mae'r gair wedi myned allan dy fod di wedi datguddio ein holl fatterion ym mlaen llaw i Sylleus, pan oeddyt yn gobeithio dy briodi ag ef?" Ond hi yn uniongyrch a ddygodd y geiriau hyn i'w brawd. Ar hyn yr ydoedd allan o bwyll, ac a roddes orchymmyn i'w rwymo ef: ac a archodd iddynt bob un, a hwy tan gadwraeth wahanol y naill oddiwrth y llall, ysgrifennu i lawr gyfrif o'u troseddiadau yr oeddynt yn euog o honynt yn erbyn eu tad, a'i ddwyn atto ef. Felly wedi gorchymmyn iddynt wneuthur hyn, hwy a 'sgrifenasant, na buasai ganddynt hwy ddim amcan bradwriaethus, ac na wnaethent ddim parottoadau yn erbyn eu tad; ond bwriadu o honynt ffoi ymaith ar gyfrif y cyfyngder yr oeddynt ynddo; a'u bywydau yn awr yn ansicr ac yn flinderus iddynt.

Ynghylch yr amser hwn y daeth cennadwr o Cappadocia, oddiwrth Archelaus, enw'r hwn oedd Melas. Efe ydoedd un o'r pen-llywodraethwyr tano ef. Felly Herod yn ewyllysio dangos drwg-ewyllys Archelaus iddo ef, a alwodd am Alexander, fel ag yr oedd tan ei rwymau, ac a ofynnodd iddo drachefn ymherthynas i'w ffoedigaeth; i ba le, a pha fodd yr oeddynt yn meddwl ymadael ymaith? Alexander a attebodd mai at Archelaus, yr hwn a addawsai eu danfon ymaith i Rufain; ond nad oedd ganddynt hwy un amcan maleisus yn erbyn eu tad: ac nad oedd dim pethau o'r natur hynny y rhai a osodasai eu gelynion yn eu herbyn yn wir: ac mai eu dymuniad ydoedd, ar iddo holi Tyrannus a Jucundus yn fwy manwl;

eithr ddarfod eu lladd yn fyrbwyll trwy'r moddion o Antipater, yr hwn a osododd ei gymdeithion ei hun ym mysg y lliaws i'r diben hwnnw.

Pan ddywedwyd hyn, Herod a orchymmynodd ddwyn Alexander a Melas at Glaphyra, merch Archelaus; a pheri gofyn iddi a ydoedd hi yn gwybod unrhyw beth o amcanion bradwriaethus Alexander yn erbyn Herod? Yn awr cyn gynted ag y daethant atti hi, a gweled o honi Alexander mewn rhwymau, hi ddyrnodiodd ei phen, ac mewn braw a syndod mawr hi roddodd drom ochenaid. Y gwr ieuangc hefyd a ymollyngodd i dywallt dagrau. Yr olwg yma ydoedd ddrych mor dorr-galonnus, fel, tros hir amser, nad allai neb ddywedyd na gwneuthur dim. Ond o'r diwedd Ptolemy, yr hwn a orchymmynasid i ddwyn Alexander, a barodd iddo ddywedyd, pa un a ydoedd ei wraig yn wybodus o'i weithredoedd? Efe a attebodd, "Pa fodd y mae'n bossibl fod yr hon wyf yn ei charu yn fwy na'm henaid fy hun, ac o'r hon y cefais blant, yn anadnabyddus o'r hyn yr wyf yn ei wneuthur?" Ar yr hyn y llefodd allan, na wyddai hi am ddim drwg-amcanion ganddo ef: ond etto, os byddai i gau-gyhuddiad o honi ei hun dueddu i'w ddiogelwch ef, y cyfaddefai hi y cwbl. Alexander a ddywedodd, "Nid oes dim o'r fath ddrwg ag y dylai y rhai sy 'n ddrwg dybus yn yr hyn lleiaf wneuthur felly; yr hyn a ddarfu i mi ei ddychymmyg, neu tithau feddwl am dano; ond hyn yn unig, ymroddi o honom i fyned at Archelaus, ac oddyno i Rufain." Hyn hefyd a addefodd hi: ar yr hyn Herod, gan feddwl fod drwg-ewyllys Archelaus atto ef wedi ei gyflawn brofi, a ddanfonodd lythyr gyd ag Olympus a Volumnius; gan beri iddynt, pan y mordwyent heibio, gyffwrdd ag Eleusa a Alicia, a thraddodi'r llythyr i Archelaus: ac wedi ymliw ag ef am fod ganddo law yn amcan bradwriaethus ei fab yn ei erbyn, fod iddynt, wedi hynny, fordwyo ymaith i Rufain. Ac os canfyddent fod Nicolaus wedi ennill peth tir, ac nad oedd Cæsar ddim mwy yn ddig wrtho, ar roddi o honynt iddo ei lythyrau; a'r tystiolaethau oedd ganddynt yn barod i'w dangos yn erbyn y gwŷr ieuaingc. Am Archelaus, gwnaeth yr amddiffyniad yma o hono ei hun, ddarfod iddo addaw gwneud derbyniad o'r gwŷr ieuaingc, o herwydd ei fod er eu mantais eu hunain a'u tad iddo wneuthur hynny: rhag i ryw weithred echryslon gael ei chyflawni yn y digter â'r annhrefn yr oeddynt tano a'r gyfrif eu drwg-dybiau am eu gilydd yn bresennol. Ond er hynny na ymrwymodd efe i'w danfon at Cæsar: ac na wnaethai un addewid arall i'r gwŷr ieuaingc, ag a ddangosai ddim drwg-ewyllys tu ag atto ef.

Pan ddaeth y cennadwyr hyn i Rufain,* cawsant gyfleustra manteisiol i draddodi eu llythyrau i Cæsar, o herwydd ei gael wedi cymmodi â Herod. Canys amgylchiadau cennadwriaeth Nicolaus a ddigwyddasai fel y canlyn. Cyn gynted ag y daethai i Rufain, ac o gylch y llys, ni ymosododd yn gyntaf oll ynghylch yr hyn a ddaethai yno o'i blegid, ond fe dybiodd yn gymmwys hefyd gyhuddo Sylleus. Yn awr, yr Arabiaid cyn iddo ymddiddan â hwynt, oeddynt yn ymryson â'u gilydd; a rhai o honynt a adawsant blaid Sylleus, a chan ymgyssylltu eu hunain â Nicolaus, a hyspysasant iddo y pethau drygionus a wnaethid; ac a ddygasant iddo dystiolaeth eglur ddarfod lladd nifer mawr o gyfeillion Obodas gan Sylleus. Canys pan adawodd y gwŷr hyn Sylleus, dygasant gyd â hwynt y llythyrau hynny trwy ba rai y gallent ei gyhuddo ef. Pan welodd Nicolaus y fath gyfleustra yn cael ei roddi iddo, efe a'i cofleidiodd yn llawen, mewn trefn i ynnill ei bwynt ei hun yn ol hynny: ac a ymdrechodd yn ddi-oed i effeithio cymmod rhwng Cæsar a Herod. Canys yr oedd wedi ei lwyr foddloni, mai os ceisiai wneud amddiffyniad tros Herod yn uniongyrch, na chaniattaid rhyddid iddo i hynny: ond os ewyllysiai gyhuddo Sylleus, y cai achlysur oddiwrth hynny i lefaru ymherthynas i Herod. Felly pan oedd yr achos yn barod i'w wrando, a'r diwrnod wedi ei bennodi, Nicolaus, tra 'r oedd cennadwyr Aretas yn bresennol a gyhuddodd Sylleus; ac a ddywedodd ei fod yn cyfrif iddo ef ddinystriad y brenin Obodas,

* Bl. 6.

a llawer eraill o'r Arabiaid: ddarfod iddo fenthycca arian i ddim dibenion da: ac efe a brofodd ei fod yn euog o odineb, nid yn unig gyd â merched Arabiaidd ond Rhufeinaidd hefyd. Ac efe a chwanegodd, gyd â phob peth arall, ei fod wedi dieithrio Cæsar oddiwrth Herod; a bod y cwbl yn anwir a ddywedasai efe am weithredoedd Herod.

Pan ddaeth Nicolaus at yr achos hwn, Cæsar a'i hattaliodd rhag myned ym mlaen; ac a ddymunodd arno yn unig lefaru am y matter hwn ynghylch Herod; a phrofi na arweiniasai fyddin i Arabia; ac na laddasai ddwy fil a phum cant o ddynion yno, na chymmeryd carcharorion, neu anrheithio'r wlad. Nicolaus a attebodd: "Bydd i mi yn bennaf amlygu, un ai nad oedd dim; neu ond ychydig iawn o'r pethau a grybwyllir yn wirionedd, am ba rai yr hysbyswyd i ti: canys pe gwir a fuasent, gallasit yn gyfiawn fod yn fwy digllon etto wrth Herod." Wrth yr adroddiad dieithr yma yr oedd Cæsar yn dra gwrandawus; a dywedodd Nicolaus, "Yr oedd dyled yn perthyn i Herod o * bum cant o dalentau; a gweithred a wnaethid, ym mha un yr ysgrifenasid, os byddai amser taliad wedi myned trosodd, y byddai cyfreithlon i gymmeryd meddiant o eiddo yn unrhyw ran o'r wlad. Ymherthynas i'r fyddin a soniwyd am dani, nid ydoedd fyddin; ond llu a ddanfonwyd allan i ofyn taledigaeth o'r arian: ni ddanfonasid hwy yn union-gyrchiol, na chyn gynted ag yr oedd y weithred yn gofyn: ond Sylleus a ddaethai yn fynych o flaen Saturninus a Volumnius, rhaglawiaid Syria: ac yn y diwedd efe a dyngodd wrth Berytus, † yn enw ffortun, y byddai sicr o dalu'r arian ymhen deng niwrnod ar hugain; ac y traddodai i fynu'r crwydraid oedd tan ei arglwyddiaeth ef. A phan na chyflawnodd Sylleus ddim o'r pethau hyn, Herod a ddaeth drachefn o flaen y rhaglawiaid; ac ar eu cydsyniad hwy i gymmeryd eiddo am yr arian; efe, trwy anhawsdra, a aethai allan o'i wlad gyd â llu o filwyr i'r pwrpas hwnnw. A thyma i gyd yw y rhyfel y mae'r gŵyr hyn yn ofidus yn ei ddescrifio, ac achosion yr ymgyrch a wnaethpwyd i Arabia. Ac yn awr a ellir galw hwn yn rhyfel, wedi i'th raglawiaid gydsynio iddo; y cyfammodau yn ei ganiattau; ac ni's cyflawnwyd hyd oni ddarfu i dy enw di, O Cæsar, megis yr eiddo duwiau eraill, gael ei halogi. Ac yn awr rhaid im' lefaru ynghylch y caethion. Yr ydoedd yspeilwyr yn aros yn Trachonitis: ar y cyntaf nid oedd eu nifer ychwaneg na deugain; ond hwy a dyfasant yn fwy lliosog ar ol hynny: a hwy a ddiangasent rhag y gosp a osodasai Herod arnynt, trwy wneud eu noddfa yn Arabia. Sylleus a'u derbyniodd ac a'u cynnaliodd ag ymborth, fel y drygent holl ddynolryw: gan roddi gwlad iddynt i'w phreswylio; ac efe ei hun a dderbyniai yr elw a ennillent trwy ladrad. Etto efe a addawsai roddi i fynu y dynion hynny, trwy'r un llwon, ac ar yr un amser ag a osododd i daledigaeth y ddyled. Ac ni all efe trwy unrhyw foddion ddangos fod neb rhyw bersonau wedi eu cymmeryd allan o Arabia, heblaw y rhai hyn; ac yn wir nid y rhai hyn i gyd chwaith; ond yn unig cynnifer a'r na's gallent guddio eu hunain. Ac fel hyn y mae enllib y caethion, yr hwn a osodwyd ger bron mor atgas, sydd yn ymddangos yn ddim gwell na chwedl, wedi ei ddyfeisio i ennyn dy ddigofaint. Canys myfi a anturiaf ddywedyd, mai pan ddaeth byddinoedd yr Arabiaid yn ein herbyn ni, ac i un neu ddau syrthio o blaid Herod, yna ddarfod iddo yn unig amddiffyn ei hun, ac yno y syrthiodd Nacebus eu blaenor; ac, yn y cwbl, ynghylch ugain yn rhagor, ac nid ychwaneg. Oddiwrth yr hyn Sylleus, trwy chwanegu pob milwr yn gant, sy'n cyfrif y lladdedig yn ddwy fil a phum cant."

Hyn a gythruddodd Cæsar yn fwy nag erioed; felly efe a drodd at Sylleus yn llawn cynddaredd, ac a ofynnodd iddo, pa nifer o'r Arabiaid a laddwyd? Ar hyn efe a ymattaliodd, ac a ddywedodd ddarfod iddo gael ei dwyllo. Y cyfammodau hefyd a ddarllenwyd ynghylch yr arian a fenthyccodd, a llythyrau rhaglawiaid

* Neu drugain talent; gwel pen. 9.

† Y llw yma, yn enw ffortun Cæsar, a gynhygiwyd i Polycarp, esgob Smyrna, gan y llywydd Rhufeinaidd, i brofi a ydoedd yn Gristion, megis y cyfrifid y rhai a ommeddai dyngu y llw hwn. Martyr Polycarp, § 9.

Syria; ynghyd ag achwynion yr amryw ddinasoedd a golledwyd gan yr yspeilwyr. Y canlyniad ydoedd, ddarfod bwrw Sylleus yn euog o farwolaeth; a bu i Cæsar gymmodi tu ag at Herod; ac a addefodd ei edifeirwch am y pethau llym a 'sgrifennasai atto am danynt, o achos enllib. Yn gymmaint ag y dywedodd wrth Sylleus, iddo ei gymmell, trwy ei hanes anwireddus o bethau, i fod yn euog o anniolchgarwch tu ag at ddyn ag oedd yn gyfaill iddo. Yn y diwedd y cwbl a ddaeth i hyn, Sylleus a ddanfonwyd ymaith i atteb gofynion Herod, ac i dalu yn ol yr arian oedd ddyledus iddo; ac ar ol hyny ei gospi â marwolaeth. Ond etto 'r oedd Cæsar yn ddig wrth Aretas, am gymmeryd y llywodraeth arno ei hun, heb ei gydsyniad ef yn gyntaf. Canys yr oedd wedi penderfynu rhoddi Arabia i Herod; ond darfod i'r llythyrau a ddanfonodd atto rwystro hynny. Canys Olympus a Volumnius, yn canfod fod Cæsar yn awr wedi dyfod yn ffafrol i Herod, a dybiasant yn gymmwys yn ddioed i roddi atto'r llythyrau a orchymmynasid ymherthynas i'w feibion. Wedi i Cæsar eu darllen, meddyliodd nad oedd yn addas chwanegu iddo lywodraeth arall, wedi myned o hono yn awr yn oedranus, ac mewn cyflwr anhappus ymherthynas i'w feibion. Felly fe wnaeth dderbyniad o gennadwyr Aretas: ac wedi ei geryddu am ei fyrbwylldra, yn peidio ag aros nes derbyn y deyrnas oddiwrtho ef, cymmerodd yr anrhegion ganddynt, ac a'i cadarnhaodd yn ei deyrnas.

## PENNOD XI.

*Am gyhuddiad Meibion Herod o flaen eisteddiad Barnwyr yn Berytus; hefyd ymherthynas i'w marwolaeth a'u claddedigaeth.*

CÆSAR ydoedd yn awr wedi ymgymmodi â Herod, ac a ysgrifenodd y modd hwn atto; ei fod yn gofidio trosto ar gyfrif ei feibion: ac os oeddynt yn euog o ryw feiau anwireddus a thrahaus yn ei erbyn, ei fod yn iawn i'w cospi hwynt fel tad-leiddiaid, i'r hyn yr oedd efe yn rhoddi awdurdod yn ganlynol. Ond os oeddynt yn unig wedi arfaethu diangc ymaith; mynnai iddo eu rhybuddio hwynt, a pheidio a'u cospi i'r eithaf. Efe hefyd a'i cynghorodd i alw eisteddfa o farnwyr ynghyd; a phennodi rhyw le yn agos i * Berytus, yr hon sydd ddinas berthynol i'r Rhufeiniaid: a galw rhaglawiaid Syria, ac Archelaus, brenin Cappadocia: a chynnifer ychwaneg ag a farnodd yn rhagori o ran eu cyfeillach ag ef, a'r anrhydedd yr oeddynt ynddo; a phenderfynu pa beth i'w wneuthur gyd â'u cymmeradwyad hwynt. Yn ganlynol Herod, wedi dwyn y llythyr atto, oedd dra chyssurus, ar gyfrif cymmodiad Cæsar ag ef; ac yn llawen hefyd oblegid yr awdurdod gyflawn a roesid iddo ar ei feibion. Ac fe ddigwyddodd ddyfod o amgylch mewn modd dieithr: pan ydoedd yn drallodus, fe ymddangosodd, mae'n wir, yn llym, etto nid yn fyrbwyll, nac â brys mawr arno i ddwyn i ben ddinystr ei feibion: efe yn awr yn ei lwyddiant, a gymmerodd y fantais o gyfnewid ei dymmer, a'r rhyddid yn awr a gawsai i ddefnyddio ei gasineb i'w herbyn mewn modd na chlybuwyd am ei fath. Efe gan hynny a ddanfonodd am gynnifer ag a dybiodd yn gymmwys i'r eisteddfod farnol hon, oddigerth Archelaus; canys un ai yr oedd yn ei gasâu ef felly, fel na fynnai ei alw yno; neu a dybiodd y byddai yn rhwystr i'w amcan.

Wedi i'r rhaglawiaid a'r swyddogion perthynol i'r dinasoedd ddyfod i Berytus, efe a gadwodd ei feibion mewn rhyw bentref yn gyfagos, perthynol i Sidon, a elwid Platana, ond a ydoedd ger llaw y ddinas hon; fel os gelwid am danynt y gallai eu dwyn o flaen y frawdle. Ac wedi i gant a deg y deugain ddyfod ynghyd, Herod a ymddangosodd wrtho ei hun, gan gyhuddo ei feibion; a hynny yn y fath ffordd a phe na buasai yn gyhuddiad athrist, a'i wneuthur o angenrheidrwydd, ac ar gyfrif y blinder yr oedd tano: ond yn wir yn y fath fodd ag oedd anweddus i

* Yr hyn y mae Josephus yn ei adrodd ddarfod i Augustus ddywedyd yma, fod Berytus yn ddinas berthynol i'r Rhufeiniaid, a gadarnheir gan nod Spanheim ar y lle hwn. "Trefedigion" eb efe, "ydoedd, wedi eu gosod yno gan Augustus." Trefedigaeth Berytus a ddaeth i fod yn enwog trwy haelionus roddion Cæsar. Ac oddiyma y mae, ym mysg arian Augustus, yr ydym a rhai â'r argraph hwn arnynt, "Trefedigion dedwyddol Augustus yn Berytus."

dad gyhuddo ei feibion. Canys yr oedd efe yn dra thanbaid a therfysglyd pan ddaeth i egluro 'r bai yr oeddynt tano; ac a ddangosodd yr arwyddion mwyaf o boethder a chreulondeb. Ac ni oddefai i'r barnwyr ystyried pwys y tystiolaethau; ond a sicrhaodd eu bod yn wir trwy ei awdurdod ei hun, mewn modd tra anweddus i dad yn erbyn ei feibion; ac a ddarllennodd ei hunan yr hyn a 'sgrifennasent hwy. Ym mha ysgrifen nid oedd crybwylliad am neb rhyw fradwriaethau, neu amcan yn ei erbyn: ond yn unig y ffordd a ddarparasent i fyned ar ffoedigaeth: ac yn cynnwys gyd â'r cwbl rai ceryddon o herwydd y drwg-ewyllys yr oedd ef yn ei ddwyn tu ag attynt. A phan ddaeth at y ceryddon neu'r gwaradwyddiadau hynny, efe a lefodd allan, ac a helaethodd ar yr hyn yr oeddynt yn ei ddywedyd, megis pe buasent wedi cyfaddef eu dichellion i'w erbyn: ac a wnaeth lw fod yn ddewisach ganddo golli ei fywyd na dioddef y fath eiriau gwaradwyddus. O'r diwedd fe ddywedodd, fod ganddo ei hun awdurdod ddigonol, yn gystal o ran natur, ac o ran cydsyniad Cæsar, i wneud â hwynt fel yr ewyllysiai. Chwanegodd hefyd ran o gyfraith eu gwlad, ag oedd yn crybwyll, os gosodai rhieni eu dwylaw ar ben yr hwn a gyhuddid, yr edrychwyr a fyddent rwymedig i daflu cerrig atto, a thrwy hynny ei ladd ef: yr hyn er ei fod yn barod i'w wneuthur yn ei wlad a'i deyrnas ei hun; etto ei fod yn aros am eu penderfyniad hwy; gan ddyfod o honynt yno, nid cyn gymmaint fel barnwyr i'w bwrw yn euog o amcanion amlwg i'w erbyn, trwy 'r hyn y darfu agos am dano trwy 'r moddion o'i feibion; ond fel personau a fyddai â chyfleustra iddynt i ddangos eu ffieiddiad o'r fath ymarferiadau; a thystio pa ryw beth drygionus a raid ei fod mewn neb rhyw ddynion, ïe, y rhai dieithraf, i fyned heibio i'r fath ddibenion bradwriaethus heb eu cospi hwynt.

Wedi i'r brenin ddywedyd yn y modd hwn, a'r gwŷr ieuaingc heb eu dwyn i'r llys i wneud amddiffyniad trostynt eu hunain; y barnwyr a welsant nad oedd dim lle wedi ei adael i wastattâd a chymmod; felly hwy a gadarnhasant ei awdurdod. Ac yn y lle cyntaf Saturninus, gwr a fuasai yn brif-swyddog, ac o fawr ddyrchafiad, a gyhoeddodd ei ddedryd, ond gyd â chymmedroldeb mawr; ac a ddywedodd ei fod ef yn condemnio meibion Herod; ond na feddyliodd y dylid eu rhoddi i farwolaeth. Yr oedd ganddo feibion ei hunan; ac i roddi mab i farwolaeth a ymddangosai yn fwy gofidus na dim a allai ddigwydd ymherthynas iddo. Ar ei ol ef meibion Saturninus, (canys yr oedd ganddo dri o feibion yn ei ddilyn, y rhai oeddynt ei ddirprwywyr,) a ddatganasant yr un ddedryd a'u tad. Yn y gwrthwyneb i hyn, dedryd neu farn Volumnius ydoedd, gosod i farwolaeth y cyfryw a fuasai yn ddrwg ac yn anufudd i'w tad; a'r rhan fwyaf o rai eraill a ddywedasant yr un peth. Yn gymmaint ag i'r diweddglo ymddangos, fod y gwŷr ieuaingc wedi eu condemnio i farw. Yn union-gyrch Herod a aeth ymaith oddiyno, ac a ddygodd ei feibion i Tyre, lle y cyfarfu Nicolaus ag ef yn ei for-daith o Rufain. A'r hwn yr ymofynnodd, yn ol adrodd yr hyn a ddigwyddasai yn Berytus, beth ydoedd ei farn ef ynghylch ei feibion, a pha beth oedd ei gyfeillion yn Rhufain yn ei dybied ynghylch y matter hwnnw? Ei attebiad oedd, "Yr hyn a fwriadasent ei wneuthur i ti ydoedd yn ddrygionus; a thi yn sicr a ddylit eu cadw ygharchar: ac os meddyli am ryw angenrheidrwydd pellach, gelli yn wir eu cospi hwynt felly, fel nad ymddangosech yn cynnwys ychwaneg o ddigter; nag i'w lywodraethu â barn neu reswm: ond os tueddi i'r ochr dyneraf, gelli ganiattau gollyngdod iddynt; rhag ysgatfydd i'th drallodion fyned yn anfeddyginiaethol. A dyma farn y rhan fwyaf o'th gyfeillion yn Rhufain hefyd." Ar hyn yr oedd Herod yn ddistaw, a than feddylfryd mawr; ac a barodd i Nicolaus forio ymaith gyd ag ef.

Yn awr, fel ag y daethant i Cæsarea, pawb yno oedd yn ymddiddan am feibion Herod, a'r deyrnas oedd mewn pettrusder, a than ddisgwyliad mawr i wybod pa beth a ddeuai o honynt. Canys arswyd mawr a oddiweddodd bob dynion, rhag i annhrefn blaenorol y teulu ddiweddu mewn modd athrist: ac yr oeddynt yn gofidio yn fawr o herwydd eu dioddefiadau.

Ac nid oedd heb berygl i neb yngan unrhyw beth ynghylch y matter hwn; nac hefyd i wrando ar arall yn son am dano: ond rhaid oedd i dosturi dynion gael ei gauad i fynu gyd â hwynt; yr hyn a barodd eu tristwch gormodol yn dra blinderus, eithr yn guddiedig. Etto yr oedd hen filwr i Herod, enw pa un oedd Tero, yr hwn oedd ganddo fab o'r un oedran ag Alexander, ac yn gyfaill iddo; yr hwn a fu mor hyfa dywedyd allan, yr hyn a feddyliai eraill yn ddirgel ynghylch y matter hwnnw: ond fe orfu arno yn fynych lefain ar gyhoedd ym mysg y lliaws, a dywedyd, mewn dull mwyaf anwyliadwrus, fod "Gwirionedd yn methu, a chyfiawnder wedi ei gymmeryd o blith dynion; tra'r oedd celwyddau a drwg-ewyllys yn gorfod, ac wedi dwyn y fath dywyllni ar achosion cyhoeddus, fel na fedrai troseddwyr ganfod y drygau mwyaf a ddygid ar ddynion." A chan ei fod mor hyf, fe ymddangosodd nad oedd wedi ei gadw ei hun allan o berygl, wrth lefaru gyd â'r fath ryddid. Ond y rhesymmoldeb o'r hyn a ddywedai, a barodd i ddynion sylwi arno, megis un yn ymddangos yn ymddwyn gyd â gwrolder mawr, a hynny mewn amser mor beryglus. Am ba reswm pawb a wrandawai yr hyn a ddywedai gydâ phleser: ac er cymmeryd o honynt ofal am eu diogelwch eu hunain trwy gadw yn ddistaw; etto'r oeddynt yn cymmeryd yn garedig y rhyddid a arferai efe. Canys y disgwyliad yr oeddynt ynddo o'r fath drallod a ddododd rym ynddynt i lefaru am Tero yr hyn a ddewisent.

Y dyn hwn a ymwthiodd ei hun i bresennoldeb y brenin gyd â'r hyfdra mwyaf, ac a ddymunodd gael siarad ag ef ar ei ben ei hun; yr hyn a ganiattaodd y brenin iddo. Yna y dywedodd, "Gan nad wyf yn gallu, O frenin, ymgynnal tan y fath ofid ag yr wyf yn ei deimlo, dewisais arfer y rhyddid hwn ag wyf yn awr wedi ei gymmeryd arnaf, yr hyn a all fod er dy lesâd, os disgwyli gael budd oddiwrtho, o flaen fy niogelwch fy hun. I ba le yr aeth dy ddealltwriaeth, ac y gadawodd dy enaid yn wâg? I ba le y ciliodd dy synhwyrdeb trwy ba un y cyflawnaist y fath weithredoedd rhagorol? Beth a fu 'n achos o dy gyflwr unigol hwn, ac ymadawiad dy gyfeillion a'th berthynasau? am ba rai ni 's gallaf amgen na phenderfynu nad ydynt gyfeillion na pherthynasau, tra maent yn edrych heibio i'r fath annuwioldeb echryslon yn dy deyrnas ddedwyddol gynt. Oni chanfyddi yr hyn a gyflawnir? A leddi y ddau wŷr ieuaingc hyn, a anwyd o'th frenhines, y rhai ydynt lawn o rinwedd i'r radd uwchaf, a gadael dy hun yn unig yn dy hen ddyddiau; gan roddi dy hun i un mab, yr hwn a ddrwg-ddefnyddiodd y gobeithion a ganiatteaist iddo? ac i berthynasau, marwolaeth pa rai a ddarfu i ti benderfynu mor fynych am dano dy hun? Oni ddeli sulw fod distawrwydd y lliaws ei hun ar unwaith yn canfod y trosedd, ac yn ffieiddio 'r weithred? Yr holl fyddin a'i swyddogion sy 'n tosturio wrth y dynion ieuaingc annedwydd; ac yn casâu y rhai sydd â rhan ganddynt ynghyflawniad y weithred hon." Y geiriau hyn a wrandawodd y brenin, a thros ryw amser gyd â thymmer dda. Ond wedi i Tero gyffwrdd yn amlwg â drwg-ymddygiad a bradwriaeth ei deulu, efe a gynhyrfwyd wrth hynny. Ond Tero a aeth ym mlaen ymhellach; ac yn raddol a arferodd ryddid ymadrodd milwraidd heb derfyn iddo. Ac nid oedd wedi ei ddisgyblu cystal ag i gydymagweddu ei hun â'r amserau. Felly Herod a derfysgwyd yn fawr; ac a olygodd ei hun yn hytrach yn cael ei waradwyddo trwy 'r ymadroddion hyn, na'i wrando fel peth ag oedd er ei fantais: tra 'r oedd yn clywed trwy hyn fod y milwyr yn casâu yr hyn yr ydoedd yn ei gylch, a'r swyddogion yn ddig o'i herwydd; efe a orchymmynodd fod i'r rhai oll a enwasai Tero, ynghyd ag ef ei hun, gael eu rhymo a'u cadw yngharchar.

Pan aeth hyn trosodd, un Trypho, yr hwn oedd eilliwr y brenin, a ddaeth ac a ddywedodd wrth Herod, y mynnai Tero yn fynych ei berswadio ef i dorri gwythi ei waed; oblegid trwy hynny y cyfrifid ef ym mysg y pennaf o gyfeillion Alexander, ac y derbyniai wobr mawr ganddo. Wedi iddo ddywedyd hyn, y brenin a orchymmynodd i Tero, a'i fab, a'r eilliwr gael eu harteithio; yr hyn a wnaethpwyd yn gaulynol. Ond tra 'r oedd Tero yn ymgynnal ei hun,

ei fab, wrth ganfod ei dad mewn cyflwr drwg, ac heb obaith o ymwared, ac yn cydnabod yr hyn a fyddai 'r canlyniad o'i ddioddefiadau echryslon, a ddywedodd, Os byddai i'r brenin ei ryddhau ef a'i dad o'r boenfa honno, ar gyfrif yr hyn a ddywedai, y cyfaddefai efe iddo 'r holl wirionedd. Ac wedi i'r brenin roddi ei air y gwnai felly: yntau a ddywedodd, i gyttundeb gael ei wneuthur, ar fod i Tero osod dwylaw arno i'w ladd ef, o herwydd fod yn hawdd iddo ef ddyfod atto pan fyddai ar ei ben ei hun: a phan wnelai 'r peth, os bwrid ef i ddioddef marwolaeth o'i herwydd, yr hyn nid oedd annhebyg, byddai er hynny yn weithred gymmwynasol wedi ei chyflawni tros Alexander. Dyma 'r hyn a ddywedodd mab Tero; a thrwy hynny a ryddhaodd ei dad o'r cyfyngder yr ydoedd ynddo. Ond ansicr yw, pa un a yrrwyd ef y modd hwn i ddywedyd yr hyn oedd wir; neu pa un ai dyfais yn unig ydoedd, i gael gwaredigaeth iddo ei hun a'i dad o'u poenedigaeth bresennol.

Am Herod, os oedd ganddo o'r blaen ryw amheuaeth ynghylch lladdiad ei feibion, nid oedd yn awr le wedi ei adael yn hwy yn ei feddwl iddo: ond efe a yrrodd ymaith bob peth a roddai'r achlysur lleiaf o ymresymiad ynghylch y matter hwn. Felly fe wnaeth frys i ddwyn ei amcan i ben. Efe hefyd a ddygodd allan dri chant o'r swyddogion ag oedd tan gyhuddiad; ac hefyd Tero, a'i fab, a'r eilliwr a'u cyhuddasai hwynt, o flaen tyrfa; ac a wnaeth gyhuddiad yn eu herbyn hwynt oll; y rhai a labuddiodd y lliaws, â pha beth bynnag a ddeuai i'w dwylaw, ac wrth hynny a'u lladdasant. Alexander hefyd ac Aristobulus a ddygwyd i Sebaste, wrth orchymmyn eu tad, ac a lindagwyd yno. Ond eu cyrph meirwon a ddygwyd ymaith yn y nos i Alexandrium: lle'r oedd eu hewythr o du eu mam, a'r rhan fwyaf o'u hynafiaid wedi eu claddu.

Ac yn awr, ysgatfydd, nad ymddengys yn afresymol gan rai, ddarfod i'r fath gasineb greddfol gynnyddu cymmaint ar bob ochr, ac i fyned ym mlaen yn y fath fodd, ag i lwyr orchfygu natur. Ond y mae'n cyfiawn haeddu ein hystyriaeth, pa un a ddylid ei osod ar y gwŷr ieuaingc, a darfod iddynt roddi'r fath achlysur i ddigofaint eu tad i ennyn i'w herbyn, a pheri iddo gyflawni'r hyn a wnaethpwyd: a thrwy fyned ym mlaen yn yr un ffordd, a ddodasant bethau tu hwnt i feddyginiaeth, ac a'i dygasant i ymddwyn mor annhrugarog wrthynt. Neu pa un a ellir ei osod ar y tad, ei fod mor galongaled; ac mor dyner mewn dymuniad o lywodraethu, a phethau eraill a dueddent i'w anrhydedd, fel na chymmerai neb yn gyfrannog ag ef; fel y byddai i'r hyn a wnelai ei hunan, barhau yn an-sigledig. Neu pa un, yn wir, ai nid oes gan ffortun, neu ragluniaeth fwy o awdurdod na phob callineb rhesymmau. Oddiwrth yr hyn i'n * perswadir, fod gweithrediadau dynol, trwy hynny, yn cael eu penderfynu ym mlaenllaw, trwy angenrheidrwydd anocheladwy, yr hyn a alwn yn dynghedfen: oblegid nad oes dim a'r na chyflawnir trwyddi. O herwydd paham meddyliaf ei fod yn ddigon cydmaru y tyb hwn â'r un arall, ag sy'n gwneuthur dynion heb fod yn anghyfrifol am wahanol ddull eu bywydau: yr hwn dyb nid yw ddim amgen na philosophyddaidd benderfyniad ein cyfraith hynafiaethol ni. Yn ganlynol, am y ddau achos arall o'r digwyddiad alaethus hwn; gall y neb a fynno ddodi'r bai ar y dynion ieuaingc, ag oedd yn gweithredu trwy ryfyg a balchder oddiwrth eu tarddiad brenhinol, am roddi o honynt wrandawiad i'r cableddau a godid yn erbyn eu tad; pan yn sicr nad oeddynt yn farnwyr digonol o weithrediadau bywyd eu tad; ond a oeddynt yn ddrwg eu natur wrth eu dychymmygu, ac yn annhymmerus wrth lefaru am danynt; ac ar bob cyfrif yn hawdd eu cymmeryd gan y rhai oedd yn dal sulw arnynt, ac yn gwneuthur datguddiad o honynt mewn trefn i ennill ffafr. Etto ni all eu tad gael ei olygu yn deilwng o esgusodiad, mewn perthynas i'r annuwiaeth echryslon yr oedd yn euog o hono; pan anturiodd, heb dystiolaeth sicr o'u hamcan bradwriaethus yn ei erbyn; ac heb iawn brofiad ddarfod iddynt wneuthur unrhyw barotto-

* Josephus yma sy'n llefaru am y Phariseaid, megis plaid neu sect; nid am dano ei hunan fel person unigol, fel yr ymddengus yn y diweddglo;

ad i'r fath antur, i ladd ei feibion ei hun; y rhai oeddynt yn ganmoladwy gan eraill; ac heb fod mewn un modd yn ambrydferth yn eu bymddygiad: yn gelfyddus mewn helwriaeth, ac ym mhob math o ymarferiadau rhyfel: ac areithio ar ryw achosion cyhoeddus, neu neillduol: canys yn y pethau hyn oll yr oeddynt yn dra chywrain; ac yn enwedig Alexander, yr hwn ydoedd y mab hynaf. Canys yn sicr fe fuasai yn ddigon, ïe er iddo eu condemnio hwynt, eu cadw yn fyw tan rwymau, neu eu cadw yn fyw mewn rhyw bellder oddiwrth ei deyrnas mewn alltudiaeth: pan amgylchynid ef gan luoedd Rhufeinig, y rhai oeddynt ddiogelwch cadarn iddo; a chynnorthwy pa rai a ragflaenent unrhyw ddrygau a allent ddigwydd trwy ymosodiad disymmwth, neu trwy wrthwynebiad cyhoeddus. Ond iddo ef eu lladd yn ddisymmwth mewn trefn i foddloni ei dymmer ei hun, ydoedd ddangosiad o ddidduwiaeth anarferol. Efe hefyd ydoedd enog o'r fath fai anafus yn ei hen ddyddiau. Ac ni fydd i'r oediad a wnaeth, a hyd yr amser ym mha un y gwnaethpwyd y peth ddadleu oll tros ei esgusodiad. Canys pan gyffroir dyn yn ddisymmwth, a'i fod mewn terfysg meddwl, ac yn cyflawni rhyw weithred ddrwg yn fyrbwyll; er bod hwnnw yn fai gorthrwm, etto y mae'n beth ag sydd yn mynych ddigwydd. Ond i'w cyflawni wedi ei hir ystyried, ac ar ol amryw gynnygiadau, a mynych ddodi'r matter heibio, i'w gymmeryd o'r diwedd yn llaw a'i gyflawni, ydoedd weithred meddwl llofruddiol, a'r hyn ni ellid yn hawdd ei wahaniaethu oddiwrth yr hyn oedd ddrwg. A'r dymmer hon a ddangosodd yn yr hyn a ddaeth i ben wedi hynny; pan na arbedodd y rhai a ymddangosai fod ei gyfeillion agosaf, a adawsid ar ol. Yn yr hyn er ymddangos y cyfiawnder o gospedigaeth y rhai a ddifethwyd yn llai i dosturio wrtho; etto yr oedd barbariaeth y dyn yma yn dra eglur; gan na ymarbedodd oddiwrth eu llofruddiad hwy hefyd. Ond am y personau hyn cawn achlysur i ddywedyd ychwaneg yn ol llaw.

---

# LLYFR XVII.

*Yn cynnwys Amseriad o Bedair Blynedd ar Ddeg.*

## O FARWOLAETH ALEXANDER AC ARISTOBULUS, HYD AMSER ALLTUDIAD ARCHELAUS.

### PENNOD I.

*Antipater yn cael ei gasâu gan yr holl genedl Iuddewig, am laddedigaeth ei Frodyr; ond yn ynnill ffafr gyd â'r Rhufeiniaid, trwy ei anrhegion iddynt. Hefyd ymherthynas i wragedd a phlant Herod.*

WEDI i Antipater y modd hwn dorri ymaith ei frodyr, a dwyn ei dad i'r radd bellaf o annuwioldeb, nes ei erlid gan ellyllon am yr hyn a wnaethai, ni lwyddodd ei obeithiau yn ol ei ddisgwyliad ymherthynas i weddill ei fywyd. Canys er gwaredu ei hun oddiwrth ofn ei frodyr, rhag eu bod yn gyd-ymdrechwyr am y llywodraeth, etto efe a'i cafodd yn beth tra anhawdd, ac agos yn ammhossibl iddo gyrhaeddyd y deyrnas, ar gyfrif y casineb oedd gan y genedl tu ag atto, yr hwn oedd wedi tyfu i raddau tra mawr. Ac heblaw'r amgylchiad tra anghyssurus hwn, achosion y milwyr oedd ymhellach yn ei ofidio, y rhai oeddynt wedi alltudio eu hunain oddiwrtho; o herwydd pa rai yr oedd y brenhinoedd hyn yn derbyn yr holl ddiogelwch a feddiannent; pa bryd bynnag y profent y genedl ag ewyllys i adnewyddu'r llywodraeth. A'r holl beryglon hyn a dynnasai arno trwy

ddinystriad ei frodyr. Pa fodd bynnag, efe a lywodraethodd y deyrnas mewn cydymgyssylltiad â'i dad, heb fod yn wir eisoes yn ddim amgen na brenin. Ac yr ydoedd oddiar y rheswm hwnnw yn cael ymddiried iddo, ac yn hyderu arno yn gadarnach, am yr hyn y dylasai gael ei roddi i farwolaeth; megis un yn ymddangos wedi bradychu ei frodyr, oddiar ei ofal i ddiogelu Herod; ac nid yn hytrach oddiwrth ei ddrwg-ewyllys iddynt, ac o'u blaen hwynt i'w dad ei hun. Yn awr, holl ddyfeisiau Antipater oedd yn tueddu i wneud ffordd iddo i symmud Herod ymaith, fel na byddai ganddo neb i'w gyhuddo o herwydd y drwgweithredoedd yr oedd yn eu darlunio: ac fel na byddai gan Herod un noddfa, na neb yn gynnorthwy iddo; gan y byddai raid iddynt wrth hynny fod ganddynt Antipater yn elyn cyhoeddus. Yn gymmaint a bod y bradwriaethau a osododd yn erbyn ei frodyr, wedi eu peri gan y casineb oedd ganddo i'w dad. Ond ar yr amser hwn yr oedd yn fwy nag erioed wedi ymosod ar weithrediad ei anturiaethau yn erbyn Herod: oblegid pe buasai unwaith wedi marw, sefydlasid y llywodraeth yn awr yn gadarn iddo ef. Ond os goddefid ef i fyw ddim yn hwy, byddai mewn perygl ar ddatguddiad ei ddrygioni a ddarluniodd, a'i dad yn ganlynol a ddeuai yn elyn iddo. Ac ar y cyfrif hwn yr oedd ddyfod o hono yn haelionus i gyfeillion ei dad, ac a roddodd arian lawer i amryw o honynt, mewn trefn i beri i ddynion ryfeddu wrth ei haelioni, ac i symmud ymaith eu casineb i'w erbyn. Ac efe a ddanfonodd yn enwedig anrhegion mawr i'w gyfeillion yn Rhufain, i ynnill eu hewyllys da: uwchlaw y cwbl i Saturninus, rhaglaw Syria. Efe hefyd a obeithiodd ynnill ewyllys da brawd Saturninus, â'r anrhegion helaeth a gyfranodd iddo. Ac hefyd efe a arferodd yr un gelfyddyd tu ag at Salome, chwaer y brenin, yr hon a briodasai un o brif gyfeillion Herod. Ac wedi gwneud gau-gyfeillach â'r rhai a ymddiddanodd â hwynt, yr oedd yn dra chyfrwys i ynnill eu hyder, ac i guddio ei gasineb oddiwrth y rhai yr oedd mewn gwirionedd yn eu casâu. Ond ni fedrai dwyllo ei fodryb, yr hon a'i hadwaenai er's hir amser; ac ydoedd yn un na's gellid yn hawdd ei thwyllo; yn enwedig gan gymmeryd o honi ofal eisioes i arfer pob gocheliad er rhagflaenu ei amcanion dichellgar. Er bod ewythr Antipater, o du ei fam, wedi priodi â'i merch; a hyn trwy ei ddyfais ei hun; tra'r ydoedd o'r blaen wedi priodi ag Aristobulus; a phan oedd merch arall Salome, o'r gwr hwnnw, yn briod â mab Calleas. Ond y briodas honno nid oedd ddim rhwystr iddi hi, yr hon a wyddai pa mor ddrygionus ydoedd, wrth ddatguddio ei amcanion; fel na's gallai ei pherthynas ag ef symmud ei chasineb blaenorol tu ag atto. Yn awr Herod a gymmellodd Salome, tra'r oedd mewn cariad â Sylleus yr Arabiad, i briodi Alexas: yr hon briodas a ymostyngodd iddo wrth annogaeth Julia, pa un a'i perswadiodd i beidio a'i gwrthod, rhag iddi ddyfod ei hun yn elynol iddynt: gan ddarfod i Herod dyngu na fyddai byth yn garedig i Salome os na wnai dderbyniad o Alexas yn ŵr iddi. Felly hi a ymostyngodd i Julia, megis ei bod yn wraig Herod; ac heblaw hynny, am nad oedd yn ei chynghori i ddim ond yr hyn a fyddai er ei mantais ei hun. Yr amser yma hefyd y bu i Herod ddanfon yn ol ferch Archelaus, yr hon a fuasai yn wraig Alexander, at ei thad: gan ddychwelyd y cynhysgaeth neu'r gwaddol a gawsai gyd â hi, allan o'i eiddo ei hun; fel na byddai ddim dadl rhyngddynt ar y cyfrif hwnnw.

Yn awr, Herod a ddygodd i fynu blant ei feibion gyd â gofal mawr; canys yr oedd i Alexander ddau fab o Glaphyra; ac i Aristobulus yr oedd tri o feibion a dwy ferch o Bernice, merch Salome. A phan oedd ei gyfeillion unwaith gyd ag ef, efe a osododd y plant o'u blaen hwynt: a chan resynu wrth dynghedfen galed ei feibion ei hun, efe a weddiodd na fyddai i'r fath anhap ddigwydd i'r rhai hynny eu meibion hwynt: ond bod iddynt gynnyddu mewn rhinwedd, a mwynhau yr hyn a gyfiawn haeddent; a gwneuthur tâl iddo ef am ei ofal tros eu dysgeidiaeth. Efe hefyd a barodd eu dyweddïo hwynt erbyn y deuent i iawn oedran priodas: mab hynaf Alexander i ferch Pheroras; a merch Antipater i fab hynaf Aristobulus. Efe hefyd

a bennodd un o ferched Aristobulus i fab Antipater; a merch arall Aristobulus i Herod, mab iddo ei hun, yr hwn a anesid iddo o ferch yr archoffeiriad. Canys arferiad hynafiaethol yn ein mysg ni ydoedd, fod amryw wragedd gan ŵr ar yr un amser. Yn awr, y brenin a drefnodd y dyweddïon hyn ymherthynas i'r plant, oddiar ei dosturi tu ag attynt yn awr wedi eu gwneud yn ymddifaid: gan ymdrechu i wneuthur Antipater yn garedig tu ag attynt, trwy y rhagbriodasau hyn. Ond ni fethodd Antipater ddwyn yr un casineb o ran ei feddwl tu ag at blant ei frodyr, a thu ag at ei frodyr eu hunain. A gofal ei dad am danynt a gythruddodd ei ddigllonedd i w herbyn; oddiar y tŷb hwn, y deuent i fwy dyrchafiad nag a gawsai eu brodyr erioed; pan y byddai i Archelaus y brenin fawrhau meibion ei ferch: a Pheroras y tetrarch a wnai dderbyniad o un o'r merched fel gwraig i'w fab. Y peth a'i hanfoddhaodd hefyd ydoedd hyn; y byddai 'r holl liaws yn tosturio yn y fath fodd wrth y plant ymddifaid, ag y cashaent ef yr hwn a'u hymddifadasai hwynt: y deuai 'r cwbl ar led, gan nad oeddynt eisoes yn ddieithr i'w duedd annuwiol tu ag at ei frodyr. Efe a ddyfeisiodd gan hynny i ddadymchwel y sefydliadau hyn a wnaethai ei dad: gan ei feddwl yn beth arswydus fod iddynt berthynas felly ag ef, fel y byddent trwy hynny mewn sefyllfa o dderchafiad ac awdurdod. Felly Herod a gydsyniodd, ac a newidiodd ei fwriad ar ei ddeisyfiad ef: a'r penderfyniad yn awr ydoedd, fod i Antipater ei hun briodi merch Aristobulus; a mab Antipater briodi merch Pheroras. Felly y dyweddïon priodas a newidiwyd yn ol y drefn hon; ïe heb iawn gymmeradwyad y brenin.

Yn awr, i Herod yr oedd naw o wragedd ar yr amser hwn, mam Antipater; a merch yr archoffeiriad, o'r hon yr oedd iddo fab ar ei enw ei hun. Yr oedd ganddo hefyd un yn wraig o ferch ei frawd, ac un arall o ferch ei chwaer, pa ryw ddwy nid oedd iddynt blant. Un o'i wragedd hefyd oedd o genedl y Samariaid; meibion pa un oedd Antipas ac Archelaus; a merch i'r hon oedd Olympas; pa ryw ferch yn ol hynny a briodwyd â Joseph, mab brawd y brenin. Ond Archelaus ac Antipas a ddygwyd i fynu gyd ag athraw yn Rhufain. I Herod hefyd yr oedd yn wraig Cleopatra o Jerusalem; ac o honi hi y cafodd ei feibion Herod a Philip, pa rai hefyd a ddygwyd i fynu yn Rhufain. Pallas hefyd ydoedd un o'i wragedd, yr hon a ymddug iddo ei fab Phasaelus. Ac heblaw y rhai hyn yr oedd ganddo yn wragedd Phedra ac Elpis; o ba rai y cafodd ei ferched Roxana a Salome. Am ei ferched hynaf o'r un fam ag Alexander ac Aristobulus, a'r rhai a ommeddodd Pheroras eu priodi; efe a roddodd un yn briodaswraig i Antipater, mab chwaer y brenin; a'r llall i Phasaelus, mab ei frawd. A'r rhai hyn oeddynt hiliogaeth Herod.

## PENNOD II.

*Ymherthynas i Samaris, yr Iuddew Babilonaidd; y bradwriaeth a wnaethpwyd gan Antipater yn erbyn ei dad: a rhagddywediad y Phariseaid.*

AC yn awr y bu ddarfod i Herod, wrth ewyllysio ei ddiogelu ei hun ar du y Trachonitiaid, ymroi i adeiladu pentref, cyn helaethed a dinas, i'r Iuddewon, ynghanol y wlad honno; yr hyn a wnai i'w wlad ei hun fod yn anhawdd i ymosod i'w herbyn; ac ym mha le y gellid bod wrth law i wneud rhuthriadau arnynt, a'u drygu hwynt. Yn ganlynol, pan ddeallodd fod gwr ag ydoedd Iuddew, wedi dyfod o Babilon, gyd â phum cant o wŷr meirch; pob un o ba rai a fedrent ollwng eu saethau wrth farchogaeth; y rhai, gyd â chant o'u perthynasau, wedi myned tros Euphrates, ac yn awr yn aros yn Antioch wrth Daphne, Syria; lle 'r oedd Saturninus, yr hwn y pryd hynny ydoedd raglaw, wedi trefnu lle iddynt yn breswylfa, a elwid Valatha: efe a ddanfonodd am y gwr hwn, gyd â'r lliaws oedd yn ei ganlyn, ac a addawodd roddi tir iddo mewn ardal a elwid * Batanea: pa ryw wlad a derfyna â Trachonitis; ac megis â dymuniad ganddo i wneuthur y drigfan honno yn amddiffynfa iddo ei hun. Efe hefyd a ymrwymodd iddo gael meddiannu 'r wlad honno yn rhydd

* Bashan yr Hen Destament.

oddiwrth deyrnged; a byw ynddi heb dalu 'r defodau arferedig o'r blaen, gan ei rhoddi iddynt yn ddi dreth.

Y Babiloniad a ddenwyd trwy 'r cynnygiadau hyn i ddyfod yno. Felly fe gymmerodd feddiant o'r tir, ac a adeiladodd ynddi amddiffynfaoedd, a maesdref, yr hon a enwodd Bathyra. Felly y gwr hwn a ddaeth yn ddiogelwch i'r trigolion yn erbyn y Trachonitiaid; ac a amddiffynodd yr Iuddewon hynny y rhai a ddaethant allan o Babilon i offrymmu eu haberthau yn Jerusalem, rhag eu niweidio gan y Trachonitiaid trwy yspail. Felly daeth nifer mawr atto o'r holl barthau hynny ag oedd a'r cyfreithiau Iuddewig yn cael eu harfer ynddynt; a'r ardal a ddaeth yn boblogaidd, o herwydd eu rhyddhad cyffredin oddiwrth drethoedd. Hyn a barhaodd yn oed amser Herod. Ond wedi i Philip, yr hwn oedd detrarch ar ei ol ef, gymmeryd y llywodraeth, gwnaeth iddynt dalu rhai trethoedd bychain, a hynny yn unig tros ychydig amser. Ond Agrippa y Mwyaf, a'i fab o'r un enw, er eu blino yn fawr ganddynt, etto ni chymmerent eu rhyddid oddiwrthynt. Oddiwrth ba rai wedi i'r Rhufeiniaid gymmeryd y llywodraeth i'w dwylaw eu hunain, y maent fyth yn caniattâu iddynt y rhagorfraint o ryddid, ond yn eu llwyr orthrymmu â gosodiad trethoedd arnynt.

O'r diwedd Zamaris, y Babiloniad, i'r hwn y rhoisai Herod feddiant o'r wlad honno, a fu farw: wedi bucheddu yn rhinweddol; a gadael plant â geirda iddynt ar ei ol. Un o ba rai ydoedd Iacim; yr hwn oedd hynod o ran ei gryfdwr, ac a ddysgodd i'w Fabiloniaid y modd i farchogaeth eu meirch: a nifer o honynt oedd yn warchawdlu i'r brenhinoedd rhagddywededig. Ac wedi i Iacim farw mewn henaint, efe a adawodd fab o'i ol a'i enw Philip; un o nerth mawr yn ei ddwylaw, ac mewn pethau eraill hefyd yn fwy enwog o ran ei wrolder na neb o'i gyfoedion. Ar ba gyfrif yr oedd cyfeillach gadarn a hyderus rhyngddo ef a'r brenin Agrippa. Yr ydoedd ganddo hefyd fyddin, yr hon a gynnaliodd o gymmaint maintioli â brenin: yr hon a addysgodd ac a arweiniodd i leoedd fel y byddai 'r achos yn gofyn.

Pan oedd amgylchiadau Herod yn y cyflwr ag a ddescrifiais, yr holl achosion cyhoeddus oedd yn ymddibynnu ar Antipater: a'i awdurdod ydoedd y fath, ag y gallai wneud daioni i gynnifer ag a ddewisai; a hyn gyd â chydsyniad ei dad; a than obaith o'i ewyllys da, a'i ffyddlondeb iddo: a hyn hyd oni anturiodd wneuthur defnydd o'i awdurdod etto ymhellach; o herwydd fod ei ddrwg-amcanion yn guddiedig oddiwrth ei dad; ac efe a wnaeth iddo gredu pa beth bynnag a ddywedai. Yr oedd hefyd yn arswydol i bawb; nid gymmaint o ran y gallu a'r awdurdod oedd ganddo, ac oblegid ei ddichellion a'i anturiaethau drygionus ym mlaen llaw. Ond yr hwn a dyfodd mewn cyfeillach fwyaf ag ef oedd Pheroras; yr hwn a dderbyniodd ganddo gyffelyb arwyddion o gyfeillgarwch; tra 'r oedd Antipater yn ei amgylchu yn gyfrwysgall â nifer o wragedd, y rhai a osododd fel gwarchawdlu o'i gwmpas. Canys Pheroras a gaethiwid gan ei wraig, ei mam, a'i chwaer; a hyn er y casineb yr oedd yn ei ddwyn tu ag attynt, am yr ammharch a wnaethent i'w ferched oedd forwynion ieuaingc. Etto'r oedd yn eu goddef hwynt; ac ni wnaed dim heb y merched y rhai a gawsent y dyn hwn tan eu hawdurdod, ac a barhasant i gynnorthwyo eu gilydd ym mhob peth; yn gymmaint âg yr oedd Antipater wedi ymgyssylltu â hwynt yn gystal o'i ran ei hun, ac o ran ei fam. Canys y * pedair merched hyn a ddywedent oll yr un peth. Ond meddyliau Pheroras ac Antipater oeddynt wahanol mewn rhai pethau o ychydig ganlyniad. Ond chwaer y brenin, Salome, ydoedd eu gwrthwynebwraig, yr hon tros hir amser oedd yn golygu ynghylch eu holl achosion; ac ydoedd hyspys fod y gyfeillach yma wedi ei llunio mewn trefn i wneud niweid i Herod, ac yr oedd tuedd ganddi i amlygu hynny i'r brenin. Ac wedi deall o'r bobl hyn fod eu cyfeillach yn anfoddlon gan Herod, megis yn tueddu i'w beryglu ef, dyfeisiasant i'w cydgyfarfod â'u gilydd fod yn guddiedig. Felly hwy a gymmerasant arnynt gasâu y naill y

* Gwraig Pheroras, gyd a'i mam a'i chwaer, a Doris, mam Antipater.

llall, a difenwi eu gilydd pan fyddai amser yn gwasanaethu, ac yn enwedig pan fyddai Herod yn bresennol: neu pan fyddai rhyw un yno ag a ddywedai iddo. Ond etto yr oedd eu cydgyfeillach yn gadarnach nag un amser pan fyddent wrthynt eu hunain. Nis gallent pa fodd byanag guddio oddiwrth Salome eu bwriadau cyntaf, pan ymosodent o gwmpas eu hamcanion hyn, neu pan elent ym mlaen yn eu cyflawniad. Ond hi a chwiliodd allan bob peth; ac, wrth helaethu yn eu cylch yn ei hadroddiad i'w brawd, a dystiolaethodd iddo am eu cyfarfodydd dirgel, a'u cynghorion a gymmerid yn guddiedig: pa rai os nad oeddynt mewn trefn i'w ddifetha ef, a allent yn hawdd fod yn amlwg ac yn gyhoeddus. "Yn awr," ebe hi, "y maent yn ymddangos yn amrafaelgar, ac yn llefaru y naill am y llall fel pe amcanent ddrygu eu gilydd; ond a ydynt yn berffaith gyttuno pan fyddont allan o olwg y lliaws. Pan y maent wrthynt eu hunain, y maent yn cyd-weithredu; ac yn tystio na roddant fyth heibio eu hundeb a'u cyfeillgarwch, ond a ymdrechant yn eu herbyn hwy, oddiwrth ba rai y cuddiant eu hamcanion." A'r modd yma y chwiliodd hi allan y pethau hyn, ac a ddaeth i berffaith wybodaeth o honynt; ac yna a fynegodd i'w brawd am danynt. Efe yn wir o hono ei hun a ddeallodd lawer am yr hyn a ddywedodd; ond etto ni allai hyderu arno; o herwydd y drwg-dybiau oedd ganddo am enllibiau ei chwaer. Canys yr ydoedd rhyw blaid neu sect o ddynion Iuddewig, y rhai a ddodent uchel werth ar eu cywreinrwydd, a'u cyfarwyddyd ynghyfraith eu tadau; gan wneud i ddynion gredu eu bod yn uchel yn ffafr Duw, gan y rhai yr hudasid y merched hyn. Y blaid hon ydoedd y rhai a elwid yn Phariseaid; y rhai ydynt mewn derbyniad a gallu i fawr wrthwynebu brenhinoedd. Plaid gyfrwysgall oeddynt; ac wedi ymgodi yn ddisymmwth i raddau o gyhoedd wrthwynebiad, ac o wneuthur niweid i eraill. Yn ganlynol, wedi i holl bobl yr Iuddewon roi sicrwydd o'u hewyllys da i Cæsar, ac i lywodraeth y brenin; y rhai hyn ni chymmerent lw, ac a oeddynt ynghylch chwe mil o nifer. A phan osododd y brenin ddirwy arnynt, gwraig Pheroras a'i talodd ei hun trostynt. Ac mewn trefn i wneud taledigaeth iddi am ei charedigrwydd hwn, gan gredu o rai eu bod yn gallu rhagfynegi pethau i ddyfod trwy ddwyfol ysprydoliaeth; hwy a gymmerasant arnynt ragddywedyd y diweddai llywodraeth Herod, ac y byddai i'w hiliogaeth gael eu difuddio o honi: ond y deuai'r deyrnas iddi hi, a Pheroras, ac i'w plant. Y rhagddywediadau hyn ni chadwyd yn guddiedig rhag Salome; ond a fynegwyd i'r brenin: megis hefyd y modd y gwyrdroisant rai personau ynghylch y palas. Felly y brenin a laddodd y cyfryw o'r Phariseaid yn bennaf a gyhuddwyd, a Bagoas yr eunuch; ac un Carus, yr hwn a ragorai ar bawb mewn harddwch yn yr amser hwnnw; ac yn un o'i weinyddion. Efe hefyd a laddodd y rhai oll o'i deulu ei hun, y rhai a gydsyniasent â'r hyn a ragddywedai'r Phariseaid. Ac am Bagoas, efe a chwyddasid i fynu ganddynt, megis pe'r enwasid ef yn dad, a chymmwynaswr yr hwn, pa un wrth ragfynegiad, a appwyntiasid yn frenin iddynt. Oblegid y byddai i'r brenin hwnnw fod â chanddo bob peth tan ei awdurdod: y galluogai Bagoas i briodi, ac i fod â phlant ganddo o'i ymysgaroedd ei hun.

## PENNOD III.

*Am y gelyniaeth rhwng Herod a Pheroras; taith Antipater i Rufain; a marwolaeth Pheroras.*

PAN ddarfu i Herod â chospi y Phariseaid hynny, y rhai a gyhuddasid o'r beiau a grybwyllwyd, efe a alwodd ei gyfeillion ynghyd yn dyrfa, ac a gyhuddodd wraig Pheroras: a chan gyfrif ammharch y morwynion ieuaingc i ddigywilydd-dra y wraig honno, efe a osododd achwyniad i'w herbyn, am y dianrhydedd a ddygasai arnynt: ac a ddywedodd fyfyrio o honi ar ffordd i ddwyn i mewn ymrafael rhyngddo ef â'i frawd; a thrwy ddrwg-dymmer ei natur, a'u dygasai i gyflwr o ryfel, yn gystal trwy ei geiriau a'i gweithredoedd: bod y ddirwy a osodasai efe heb wneud taliad o honi,

a bod y troseddwyr wedi diangc yn ddi-gosp trwyddi hi; ac na wnaethid yn ddiweddar ddim hebddi. "Ar y cyfrif hwn, tydi Pheroras," eb efe, "a wnei yn dda o honot dy hun, ac nid ar fy erfyniad, neu wneuthur yn ol fy nhŷb i roddi dy wraig hon heibio; megis un o hyd a fydd yn achos o ryfel rhyngwyf â thydi. Ac yn awr os wyt am ddodi gwerth ar dy berthynas i mi, dyro dy wraig hon ymaith: canys trwy 'r moddion hyn ti a barhei i fod yn frawd, ac a arhosi mewn cariad â mi." Pheroras er gwasgu arno yn dynn gan y geiriau rhagflaenol, a ddywedodd, mai er na wnai beth mor anghyfiawn ag ymwrthod â'i berthynas frawdol; etto ni ymadawai â'i serchowgrwydd i'w wraig: canys efe a ddewisai yn hytrach farw na byw, wedi ei ymddifadu o wraig ag oedd mor anwyl ganddo. Wrth hyn Herod a roddes heibio ei ddigter tu ag at Pheroras ar y cyfrifon hyn: er iddo ef ei hun trwy hynny fyned tan gosp dra anesmwyth. Pa fodd bynnag, efe a waharddodd i Antipater a'i fam gyfeillachu dim â Pheroras; ac a orchymmynodd iddynt fod yn ochelgar rhag ymgynnulliad y gwragedd. Hyn a addawsant wneuthur; ond etto a aethant ynghyd pan roddid achlysur i hynny: ac yr oedd gan Pheroras ac Antipater eu cyfarfodydd llawen eu hunain. Fe ddywedid hefyd fod cyfeillach anghyfreithlon rhwng Antipater â gwraig Pheroras; a'u cael hwynt ynghyd gan fam Antipater.

Antipater oedd â chanddo yn awr ddrwgdybiau am ei dad; ac ydoedd yn ofni i effaith ei gasineb tu ag atto gynnyddu. Felly efe a ysgrifennodd at ei gyfeillion yn Rhufain; gan ddymuno iddynt ysgrifennu at Herod, a'r fod iddo ddanfon Antipater yn ddioed at Cæsar. Yr hyn pan wnaethant, Herod a ddanfonodd Antipater yno, gan roddi anrhegion ardderchog gyd ag ef; megis hefyd ei ewyllys diweddaf; yn mha un yr appwyntiodd Antipater i fod yn ddilynwr iddo yn y llywodraeth. Ac os byddai Antipater farw yn gyntaf, ei * fab o ferch yr archoffeiriad a fyddai i'w ddilyn. A chyd ag Antipater yr aeth i Rufain, Sylleus yr Arabiad, er na wnaethai ddim o'r pethau a orchymynasai Cæsar iddo. Antipater hefyd a'i cyhuddodd o'r un beiau ag y cyhuddasid ef o honynt o'r blaen gan Herod. Sylleus hefyd a gyhuddwyd gan Aretas; o ddarfod iddo, heb ei gydsyniad ef, ladd llawer o bennaethiaid yr Arabiaid yn Petra; ac yn enwedig Soemus; gŵr haeddianol o'i anrhydeddu gan bawb: ac hefyd lladd o hono Fabatus, gweinidog i Cæsar. Dyma oedd y pethau y cyhuddwyd Sylleus o'u plegid; a hynny ar yr achlysur canlynol. Yr ydoedd un Corinthus yn perthyn i Herod, ac yn un o warchawdlu 'r brenin; yr hwn yr oedd ei ymddiried yn fawr ynddo. Sylleus a berswadiasai y dyn hwn, gyd â chynnygiad o swm mawr o arian i ladd Herod: ac efe a addawsai ei wneuthur. Wedi i Fabatus wybod am hyn, (canys Sylleus ei hun a ddywedasai iddo,) fe wnaeth y brenin yn hyspys o hono; yr hwn a ddaliodd Corinthus, ac ai dododd ar yr arteithfa; a thrwy hynny a gafodd allan o hono 'r holl fradwriaeth. Efe hefyd a ddaliodd ddau o Arabiaid eraill, y rhai a ddatguddiwyd gan Corinthus: un ydoedd yn bennaeth llwyth; a'r llall yn gyfaill Sylleus; y rhai bob un a ddygwyd i'r arteithfa, ac a gyfaddefasant ddyfod o honynt i gefnogi Corinthus na fethai gyflawni'r hyn a gymmerasai arno, ac i'w gynnorthwyo â'u dwylaw eu hunain, os byddai angenrheidrwydd am hynny. Felly Saturninus, wedi i Herod ddatguddio 'r cwbl iddo ef, a'u danfonodd i Rufain.

Ar y pryd hwn Herod a archodd i Pheroras, gan ei fod mor gyndyn yn ei serchowgrwydd i'w wraig, a'r iddo fyned ymaith i'w lywodraeth ei hun. Hyn a wnaeth yn dra ewyllysgar; ac a wnaeth lw na ddychwelai drachefn, nes y clywai farw o Herod. Ac yn wir, pan, ar afiechyd y brenin, y dymunwyd arno ddyfod i ymweled ag ef cyn ei farw, fel yr ymddiriedai iddo am rai o'i achosion; yr oedd ganddo 'r fath ofal am ei lw, fel na ddeuai atto ef. Etto ni ddaliodd Herod felly ei gâs at Pheroras, ond a faddeuodd ei bwrpas o beidio ymweled ag ef, yr hyn a fuasai ganddo o'r blaen; a hynny ar achosion pwysfawr fel y crybwyllwyd eisoes: ond cyn gynted ag yr aeth yn glaf, efe a ddaeth

* Herod. Philip.

atto ef, a hynny heb anfon am dano. Ac wedi iddo farw; efe a ofalodd ynghylch ei angladd, ac a fynnodd ddwyn ei gorph i Jerusalem, a'i gladdu yno, ac a orchymmynodd alar am dano. Y farwolaeth hon o Pheroras a ddaeth yn ddechreuad aflwyddiant i Antipater, er ei fod eisoes wedi mordwyo i Rufain; Duw ydoedd yn awr ynghylch ei gospi ef am lofruddiad ei frodyr. Bydd i mi egluro'r hanes yma mewn modd gwahaniaethol, fel y gwasanaetho yn rhybudd i ddynolryw; ac y cymmeront ofal i arwain eu holl fywyd wrth reolau cyfiawnder.

## PENNOD IV.

*Am y cyhuddiadau a wnaethpwyd yn erbyn gwraig Pheroras; a datguddiad o amcanion peryglus Antipater.*

CYN gynted ag y bu farw Pheroras, * a bod ei angladd trosodd; dau o wŷr rhyddion Pheroras, y rhai oedd mewn cyfrif ganddo, a ddaethant at Herod; gan erfyn arno am beidio gadael llofruddiad ei frawd i fyned yn ddigosp, ac heb ei ddial ganddo; ond i chwilio i mewn i amgylchiad y fath farwolaeth annedwydd. Wedi ei gyffroi â'r geiriau hyn, dywedasant, † "Ddarfod i Pheroras swppera gyd â'i wraig y diwrnod cyn iddo syrthio yn glaf; a darfod i ryw ddiod-feddyginiaeth gael ei dwyn iddo, yn gymmysgedig â'r cyfryw fwyd a'r na arferai o'r blaen; ond mai wedi ei fwytta iddo farw ar ei ol: a dwyn o honynt y ddiod hon o Arabia gan wraig, tan enw serch-ddiod; ond a ydoedd mewn gwirionedd i ladd Pheroras. Oblegid fod y menywod Arabaidd yn dra chelfyddus am wneuthuriad y fath ddiod wenwynig: a'r wraig i ba un y cyfrifid hon, a addefid yn gyfeilles agos i un o feistresau Sylleus; a mam, a chwaer gwraig Pheroras, a fuasent yn y lle ag yr oedd hi yn byw ynddo, ac a'i perswadiasent i werthu iddynt y gwenwyn hwn: a dyfod o honynt yn ol, gan ddwyn gyd â hwynt y ddiod-feddyginiaeth hon y dydd o flaen ei swpper uchod." Wrth hyn y brenin a gythryblwyd, ac a arteithiodd y caeth-forwynion; a rhai ag oedd rydd gyd â hwynt. Ac fel nad ymddangosodd y weithred etto, o herwydd na chyfaddefai un o honynt; o'r diwedd dywedodd un, yn yr ing mwyaf, ddarfod iddi weddio ar i Dduw anfon y cyffelyb boenydiau ar fam Antipater, yr hon a fuasai'n achos o'r fath drueni iddynt oll. Y weddi hon a barodd i Herod chwanegu at arteithiau'r merched, nes trwy hynny iddynt ddatguddio'r cwbl: eu cyfarfodydd llawen a dirgelaidd; ac amlygu yr hyn a ddywedasai wrth ei fab yn unig, i ferched Pheroras. (Yn awr yr hyn a archasai Herod i Antipater gadw yn guddiedig ydoedd, y rhodd o gan talent iddo ef, am beidio cymdeithasu â Pheroras.) A pha gasineb yr oedd yn ei ddwyn at ei dad; ac achwyn o hono wrth ei fam am hyd ei fywyd; a'i fod ef ei hunan agos yn hen wr; yn gymmaint a phe denai'r deyrnas iddo ef, ni allai gael oddiwrthi lawer o hyfrydwch: a bod llawer o'i frodyr, a phlant ei frodyr, yn cael eu dwyn i fynu; y rhai a allai fod â gobaith ganddynt am y deyrnas yn gystal ag ef ei hun: yr hyn oll oedd yn gwneud ei obaith ei hun am dani yn ansicr. Canys trefnwyd yn awr, gan Herod, os na byddai efe byw, fod i'r llywodraeth gael ei sefydlu, nid i'w fab ef, ond yn hytrach i un o'i frodyr. Efe hefyd a gyhuddasai'r brenin o farbariaeth mawr, ac o laddiad ei feibion: ac mai oddiar yr ofn yr ydoedd tano, rhag gwneud yr un peth iddo ef, y lluniodd ei daith i Rufain; ac y penderfynodd Pheroras fyned i'w lywodraeth ei hun.

Y cyfaddefiadau hyn a gyttunodd â'r hyn a ddywedasai chwaer Herod iddo; ac a dueddodd yn fawr i gyfnerthu ei thystiolaeth, a'i rhyddhau oddiwrth ddrwg-dybiau am ei hanffyddlondeb. Felly wedi i'r brenin ei foddloni ei hun am y malais yr oedd Dora, mam Antipater, yn gystal ag ef ei hun, yn ei ddwyn tu ag

* Bl. 4.

† Fe ymddengys oddiwrth yr holl hanes hon, na wenwynasid Pheroras ei hun, fel y tybir yn gyffredin. Canys Antipater a'i perswadiasai ef i wenwyno Herod, Pen. 5, yr hyn a syrthiasai i'r llawr, pe buasai ei hun wedi ei wenwyno. Ac ni allai gwenwyniad Pheroras wasanaethu i ddim dibenion ag a ymddangosodd fod yn cael ei ddwyn ymmlaen. Nid oedd ond yn unig ddychymmygiad dau o'i wŷr rhyddion, am y serch-ddiod, neu'r gwenwyn hwn, yr hon a wyddent gael ei dwyn i wraig Pheroras, wneuthur defnydd o honi i'w wenwyno ef: pan ymddengys iddi gael ei dwyn i'w gŵr, i'r diben i wenwyno Herod, fel y mae'r ymholiad canlynol yn dangos.

atto ef, a gymmerodd ymaith oddiwrthi ei holl addurniadau gwychion, y rhai oeddynt werth llawer o dalentau; ac yna a'i danfonodd ymaith, ac a aeth i mewn i gyfeillach merched Pheroras. Ond y neb a gyffrodd yn fwyaf oll ddigter y brenin tu ag at ei fab, ydoedd un Antipater, goruchwyliwr i Antipater, mab y brenin; yr hwn pan arteithiwyd ef, ym mhlith pethau eraill a ddywedodd, fod Antipater wedi parottoi diod-feddyginiaeth farwol, a'i rhoddi at Pheroras; gyd â dymuniad ar iddo ei rhoddi i'w dad yn amser ei absennoldeb; a phan fyddai mewn gormod o bellder, i neb gynnwys y meddwl lleiaf fod ganddo ef un rhan yn y weithred: ddarfod i Antiphilus, un o gyfeillion Antipater, ddwyn y ddiod-feddyginiaeth honno o'r Aipht; a darfod ei danfon i Pheroras gan Theudion, brawd mam Antipater, mab y brenin; a thrwy'r moddion hynny a ddaeth i ddwylaw gwraig Pheroras, wedi i'w gwr ei roddi i'w gadw iddi hi. Ac wedi i'r brenin ofyn iddi yn ei gylch, hi a'i cyfaddefodd; ac fel yr oedd yn rhedeg i'w ymofyn, hi fwriodd ei hunan i lawr oddiar nenn y tŷ: etto ni laddodd ei hun, am ddisgyn o honi ar ei thraed. Y brenin ar hynny a'i cyssurodd, ac a addawodd faddeuant iddi hi a'i theulu, ar yr ammod na chuddient ddim o'r gwir oddiwrtho; ond a'i bygythiodd â'r gospedigaeth drymmaf, os profai yn dwyllodrus, a darguddio o honi ryw beth. Felly hi wnaeth lw, y cyfaddefai o'i flaen bob peth, ac y dywedai pa fodd y gwnaethid y cwbl; a hi a adroddodd yr hyn a gymmerodd llawer ei fod yn wir.

"Y ddiod-feddiginiaeth," ebe hi, "a ddygwyd o'r Aipht gan Antiphilus; a'i frawd, yr hwn oedd physygwr, a'i parottôdd. Ac wedi ei ddwyn gan Theudion i ni, myfi a'i cedwais, wedi ei roddi attaf gan Pheroras; ac a fwriadasid gan Antipater i ti. Gan hynny, wedi i Pheroras syrthio yn drym-glaf, ac i tithau ddyfod i ymweled ag ef; a phan deimlodd y caredigrwydd oedd gennyt tu ag atto, ei feddwl a gyffröwyd wrth hynny. Felly fe a'wodd arnaf atto, ac a ddywedodd, 'O wraig! Antipater a'm hudodd yn yr achos berthynol i'w dad ef, a'm brawd innau: gan fy mherswadio i gynnwys amcan dinystriol tu ag atto, ac i ddanfon am ddiod-feddyginiaeth wenwynllyd i fod yn wasanaethgar i hynny. Dos gan hynny yn awr i ymofyn y ddiod hon; (gan fod yn ymddangos yn fy mrawd etto yr un duedd garedigol tu ag attaf ag oedd ganddo gynt, ac am nad wyf yn disgwyl byw fy hun yn hir; fel na halogwyf enwau fy hynafiaid o'r blaen, trwy lofruddio fy mrawd,) tyred a llosg hi yn tân o flaen fy wyneb.' Yn ganlynol mi a'i dygais yn ebrwydd, ac a wnaethum fel y parodd fy ngwr i mi; a llosgwyd y rhan fwyaf o honi; ond ychydig weddill a adawyd; fel os byddai i ti, ar ol marw Pheroras, arfer triniaeth chwerw tu ag attaf, y gallwn wenwyno fy hun, ac wrth hynny dianc rhag fy nhrueni." Wrth ddywedyd hyn, hi ddygodd y blwch allan ag oedd â'r gwenwyn ynddo o'u blaen hwynt oll. Yr oedd hefyd frawd arall i Antiphilus, ynghyd a'i fam, y rhai trwy boenau eithaf yr arteithfa a gyfaddefasant yr un pethau; ac a addefasant fod y blwch yr un ag a ddygiasid o'r Aipht. Merch yr archoffeiriad hefyd, yr hon oedd wraig i'r brenin, a gyhuddwyd megis ei bod yn gwybod am hyn oll; ac ymroddi o honi i'w gadw yn guddiedig. Am ba achos Herod a ysgarodd â hi, ac a ddilëodd enw ei mab allan o'i ewyllys, ym mha un y nodasid ef megis ym mhlith y rhai oedd i deyrnasu ar ei ol: a chymmerodd yr archoffeiriadaeth ymaith oddiwrth ei dad ynghyfraith, Simon, mab Boethus; ac a appwyntiodd Matthias, mab Theophilus, yr hwn a anwyd yn Jerusalem, i fod yn Archoffeiriaid yn ei le.

Tra 'r oedd hyn yn cael ei wneuthur, Bathyllus hefyd, gŵr rhydd i Antipater, a ddaeth o Rufain; ac, ar yr arteithfa, a gafwyd ei fod wedi dwyn diod feddyginiaeth wenwynllyd arall gyd ag ef, i'w rhoddi yn nwylaw mam Antipater, a Pheroras: fel os na fyddai i'r ddiod gyntaf weithredu ar y brenin, y dygid ef, o'r hyn lleiaf, ymaith gan yr ail. Dygwyd hefyd lythyrau oddiwrth gyfeillion Herod yn Rhufain, trwy gymmeradwyad, ac wrth annogaeth Antipater, ynghylch cyhuddiad Archelaus a Philip, fel pe buasent yn cyhuddo eu tad, ar gyfrif lladdiad

Alexander ac Aristobulus; ac megis eu bod yn tosturio wrth eu marwolaeth: a chan ddarfod galw am danynt hwythau adref, (canys eu tad a wnaethai hynny eisoes,) meddyliasant eu bod hwythau hefyd i gael eu difetha. Y llythyrau hyn a gafwyd trwy wobrwyon mawr, gan gyfeillion Antipater. Ond Antipater ei hun a 'sgrifenasai at ei dad ymherthynas iddynt; gan ddodi 'r achwynion trymmaf yn eu herbyn. Etto efe a'u hesgusododd yn hollol oddiwrth fod yn euog; gan ddywedyd, Nad oeddynt ond dynion ieuaingc; ac felly a gyfrifodd eu geiriau i'w hieungctyd. Ond efe a ddywedodd ei fod ei hun yn dra diwyd yn yr achos a berthynai i Sylleus, ac yn ynnill derbyniad gyd â'r goreuon; ac ar y cyfrif hwnnw a brynasai addurniadau gwychion i'w hanrhegu â hwynt; y rhai a gostiasent iddo ddau cant o dalentau. Yn awr gall un ryfeddu yn fawr pa fodd y digwyddodd, pan oedd cymmaint o gyhuddiadau yn cael ei ddwyn i'w erbyn yn Judea, yn oed saith mis cyn yr amser hwn, pa fodd na wnaethid ef yn hyspys o honynt? Yr achosion o'r hyn ydoedd am fod y ffyrdd yn cael gwylio arnynt yn ddyfal, a bod dynion yn casau Antipater. Canys nid oedd neb a redai 'r antur o ynnill manteision iddo ef.

## PENNOD V.

*Am ddychweliad Antipater o Rufain; y cyhuddiadau a osodwyd i'w erbyn gan Nicolaus o Damascus; a'r canlyniad o'i holedigaeth o flaen Quintilius Varus, rhaglaw Syria.*

YN awr, wedi i Antipater ddanfon gair, mai gan ei fod wedi gwneuthur yr hyn a osodasid iddo, y dychwelai adref ar fyrder. Herod a guddiodd ei ddigter, ac a ysgrifennodd yn ol atto, gan beri iddo na oedai ei siwrnai, rhag i ryw niweid ddigwydd iddo yn ei absennoldeb. Ar yr un pryd efe a wnaeth ryw ychydig o achwyniadau ynghylch ei fam; ond a addawodd adael y rhai hynny o'r neilldu pan ddychwelai ef. Efe hefyd a grybwyllodd am ei gariad tu ag atto; ac megis ag ofn arno rhag iddo gymmeryd rhyw ddrwg-dybiau, ac oedi ei daith: a rhag, tra'r oedd yn byw yn Rhufain, y lluniau fradwriaeth yn erbyn y deyrnas, a gwneuthur rhyw beth yn groes iddo ei hun. Y llythyr hwn a gyfarfu Antipater ag ef yn Cilicia; ond a dderbyniasai hanes marwolaeth Pheroras yn Tarentum, yr hyn a effeithiodd yn ddwfn arno: nid o ran ei gariad i Pheroras, ond o herwydd marw o hono heb wneuthur llofruddiad o'i dad, yr hyn a addawsai gyflawni. A phan oedd yn Celenderis yn Cilicia, efe a ddechreuodd betruso ynddo ei hun, ynghylch ei fordwyaeth adref; ac megis yn cael ei flino yn fawr ar gyfrif gwrthodiad ei fam. Yn awr, rhai o'i gyfeillion a'i cynghorodd i aros tros ennyd mewn rhyw le i ddisgwyl am bellach hyspysrwydd: ond eraill a gyngorasant a'r fod iddo fordwyo adref yn ddi-oed: oblegid pan ddelai efe yno, y dodai derfyn ar bob cyhuddiadau, ac nid oedd ddim â phwys ynddo gan ei gyhuddwyr yn bresennol, ond ei absennoldeb. Efe a berswadiwyd gan y rhai diweddaf hyn, ac a fordwyodd ym mlaen; ac a diriodd mewn porthladd a elwid Sebastus; pa le a adeiladasai Herod ar draul mawr er anrhydedd i Cæsar. Ac yn awr yr oedd Antipater yn amlwg mewn angylchiad anhappus, pan na ddaethai neb atto, nac i'w gyfarch ef, megis ag y daethent ar ei fynediad allan i'w daith, gyd â dymuniadau tros ei lwyddiant, â llefau gorfoleddus. Ac nid oedd unrhyw beth i'w lluddias rhag ymddwyn i'r gwrthwyneb gyd â chwerw fellditbion, tra 'r oeddynt yn meddwl ddyfod o hono i dderbyn ei gosp am laddedigaeth ei frodyr.

Quintilius Varus ydoedd yr amser hwn yn Jerusalem, wedi ei ddanfon yn lle Saturninus yn rhaglaw Syria; ac a ddaethai yn farnwr tros Herod, yr hwn a ddymunasai ei gynnorthwy ar yr achos presennol. Ac fel yr oeddynt yn eistedd ynghyd, Antipater a ddaeth i'r palas, wedi ei ddilladu â phorphor. Y porthorion yn wir a'i derbyniasant i mewn, ond a rwystrasant ei gymdeithion. Ac yn awr yr ydoedd mewn mawr derfysg, ac a ddeallodd yn ebrwydd y cyflwr yr ydoedd ynddo: pan, ar ei fynediad i gyfarch ei dad, efe a yrrwyd yn ol ganddo, fel llofrydd ei frodyr, a lluniaethwr dinystr iddo ei hun: a dywedodd y byddai Varus yn wrandawr

ei achos, ac yn farnwr y dydd nesaf. Felly fe gafodd fod y blinder a glywodd wedi dyfod yn awr arno, tan bwys pa un yr aeth ymaith yn derfysglyd. Ei fam a'i wraig yno a'i cyfarfu (yr hon wraig ydoedd ferch Antigonus, yr hwn oedd frenin yr Iuddewon o flaen Herod;) gan ba rai y cafodd wybod am yr holl amgylchiadau a berthynent iddo; ac yna efe a ymbarottôdd ei hun i fyned i'r frawdle.

Ar y dydd nesaf Varus a'r brenin a gyd-eisteddasant mewn barn; a'u cyfeillion bob un hefyd a alwyd i mewn: megis hefyd perthynasau'r brenin gyd â'i chwaer Salome; a chynnifer ag a allai wneuthur rhyw ddatguddiadau, a'r rhai a arteithiwyd. Ac heblaw y rhai hyn rhai caeth-weision i fam Antipater, y rhai a gymmerasid i fynu ychydig cyn dyfodiad Antipater, a ddygasant lythyr ysgrifenedig gyd â hwynt; swm pa un ydoedd hyn, Na ddeuai yn ol, am fod y cwbl wedi dyfod i wybodaeth ei dad; ac mai Cæsar oedd yr unig noddfa a adawsid iddo, i ragflaenu ei thraddodiad hi ac yntau i ddwylaw ei dad. Yna y syrthiod Antipater i lawr wrth draed ei dad; ac a erfyniodd na flaen-farnai ei achos ef, ond bod iddo yn gyntaf gael gwrandawiad; a bod i'w dad ymgadw ei hun yn ddi-ragfarn. Felly Herod a orchymmynodd ei ddwyn ef i'r canol; ac yna a alarodd ynddo ei hun oblegid ei blant, oddiwrth ba rai y derbyniasai gymmaint o flinder: ac o herwydd disgyn drygau Antipater arno yn ei henaint. Cyfrifodd hefyd i fynu gostau eu cynhaliaeth a'r ddysgeidiaeth a roddasai iddynt; a'r modd y diwallodd hwynt â chyfoeth cyfattebol i'w dymuniadau eu hunain. Etto ni rwystrasai yr holl gymmwynasrwydd yma hwynt rhag llunio bradwriaethau i'w erbyn, mewn trefn i ynnill y deyrnas, trwy ffordd mwyaf drygionus; a chymmeryd ei fywyd ymaith cyn ei ddigwydd yn ol trefn natur, a bwriadau eu tad, na bod cyfiawnder yn gofyn y deyrnas iddynt. A'i fod ef yn rhyfeddu pa wag-obaith a allai ogwyddo Antipater i'r fath ymgais, ag i fod yn ddigon calonnog i anturio 'r cyfryw bethau: ei fod ef yn ei ewyllys ysgrifenedig wedi ei nodi i fod yn ddilynwr iddo yn y llywodraeth: a thra 'r ydoedd yn fyw nid oedd mewn un wedd is-law iddo, mewn mawredd derchafedig, neu allu ac awdurdod, gan nad oedd iddo lai na deg a deugain o dalentau yn gyllid blynyddol; ac wedi derbyn gogyfer â'i daith i Rufain, ddim llai na deg ar hugain o dalentau. Efe a gyfrifodd iddo hefyd achos ei frodyr y rhai a gyhuddasai: ac os oeddynt hwy yn euog, ddarfod iddo yntau ddilyn eu siampl: ac os nad oeddynt, efe a ddygasai gyhuddiadau di-sail yn erbyn ei agos berthynasau: oblegid fod yr holl hyspysrwydd a gafodd efe yn eu cylch wedi ei dderbyn ganddo ef, ac nid neb arall: a'r hyn a wnaethpwyd ymherthynas iddynt oedd yn ol ei gymmeradwyad ef; a'r rhai yr oedd yn awr yn eu rhyddhau o'r hyn oll ag oedd feius, trwy ddyfod yn etifedd euogrwydd y fath dad-leiddiad.

Wedi i Herod lefaru yn y modd hwn, efe a ddechreuodd wylo, ac ni allai ddywedyd dim yn rhagor. Ond ar ei ddymuniad, Nicolaus o Damascus, cyfaill i'r brenin, a phob amser yn gyfarwydd ag ef, i'r hwn yr oedd yn hyspysu pa beth bynnag a wnelai, ac amgylchiad ei achosion, a aeth rhagddo i lefaru 'r hyn oedd yn aros i'w grybwyll; ac a eglurodd y cwbl ag oedd yn perthyn i dystiolaethu am y drwg weithredoedd. Ar hyn Antipater, mewn trefn i wneud ei amddiffyniad cyfreithlon, a drodd ei hun at ei dad, ac a ymhelaethodd ar yr aml arwyddion a roesai o'i ewyllys da iddo: a dangosodd yn siampl o hyn yr anrhydedd a gawsai ganddo, yr hyn ni chaniattasai, pe na buasai yn ei haeddu trwy ei ofal rhinweddol yn ei gylch: oblegid iddo wneud arlwyad i bob peth ag oedd weddus eu rhagweled ym mlaen llaw, fel ag i roddi 'r cyngor doethaf iddo: a phryd bynnag y byddai achos am lafur ei ddwylaw ei hun, ni rwgnachasai gymmeryd y fath trosto. A'i fod agos yn ammhossibl iddo ef, yr hwn a waredasai ei dad rhag cynnifer o amcanion bradwriaethus a ddarparasid i'w erbyn; wedi hynny golli yr holl glod a ynnillasai trwy ei rinwedd, o herwydd ei ddilyn gan yr anwiredd hwn: a hynny pan nad oedd ganddo ddim i'w warafun, yr hwn a appwyntiasid eisoes i lywodraethu ar

ei ol; ac yn mwynhau anrhydedd brenhinol gyd â'i dad hefyd yn bresennol. Ac nad oedd yn ddim tebygoliaeth fod i'r neb oedd ganddo hanner yr awdurdod honno yn ddi-berygl, a chyd â geirda, ymdrechu am feddiannu 'r cwbl, trwy anglod a pherygl; a hyn pan oedd yn amheus pa un a feddiannai hi neu beidio. Ac wedi iddo ganfod siampl athrist ei frodyr o'i flaen; ac a fuasai hyspyswr a chyhuddwr o honynt, ar amser pan na allasid eu datguddio gan eraill; ïe, efe a fuasai awdwr y gospedigaeth a osodwyd arnynt, pan ymddangosodd yn amlwg eu bod yn euog o anturiaethau drygionus yn erbyn eu tad. A bod yr ymrysoniadau a fu yn nheulu 'r brenin yn arwyddion ei fod ef bob amser yn trefnu achosion felly, fel ag y tarddent oddiar gariad difrifol i'w dad. Ac ymherthynas i'r hyn a wnaethai yn Rhufain, Cæsar ydoedd dyst o hono; yr hwn ni thwyllir mo hono mwy na Duw ei hun. Am dybiau pa un, ei lythyrau a roddent dystiolaeth ddigonol: ac nad oedd resymmol i wrando cyhuddiadau y rhai oedd ag amcan i godi terfysg, o flaen y llythyrau hynny: y rhan fwyaf o ba ryw gyhuddiadau a godasid yn ei absennoldeb, yr hyn a roddodd fantais i'w elynion; yr hyn ni allasent wneuthur pe buasai efe yn bresennol. Efe hefyd a ymdrechodd i ddangos gwendid y dystiolaeth a roddid trwy arteithio; yr hyn fynychaf oedd yn amherffaith, o herwydd y cyfyngder y mae dynion ynddo tan y fath boenydiau, sy'n gwneuthur yn naturiol iddynt ddywedyd llawer o bethau, mewn trefn i foddloni y rhai sy'n awdurdodi arnynt. Efe hefyd a gynnygiodd ei hun i fyned i'r arteithfa.

Ar hyn daliwyd sulw gyfnewid gwedd y dyrfa, pan oeddynt yn mawr dosturio wrth Antipater; yr hwn trwy ŵylo, ac â drych gofidus cyfattebol i'w sefyllfa, a barodd iddynt dristâu o'i herwydd: yn gymmaint ag y bu hyd yn oed i'w elynion gael eu cynnyrfu â thosturi tu ag atto. Ac fe ymddangosodd yn amlwg fod hyn wedi effeithio ar Herod yn ei feddwl ei hun, er nad oedd yn ewyllysio i neb sylwi arno. Yna y dechreuodd Nicolaus yrru ym mlaen yr hyn a gychwynasid gan y brenin, a hynny gyd â chwerwedd mawr; ac a gasglodd ynghyd yr holl dystiolaethau a gawsid trwy'r arteithiau, ac o leoedd eraill. Efe yn bennaf a ganmolodd rinwedd y brenin, yr hyn a ddangosasai ynghynnaliaeth a dysgeidiaeth ei feibion, pan na allodd gael un mantais oddiwrth hynny, ond fyth yn syrthio o'r naill anhap i'r llall. Er ei fod yn addef nad oedd yn rhyfeddu cymmaint wrth ymddygiad anystyriol ei feibion o'r blaen, y rhai oeddynt ieuaingc, ac a lygrasid gan gynghorwyr annuwiol, y rhai oeddynt yr achos o ddileu o'u meddyliau gyfiawn ddeddf natur; a hyn oddiar ddymuniad o ddyfod i'r llywodraeth yn gynt nag a ddylasent. Etto ni fedrai lai na synnu wrth annuwioldeb erchyll Antipater; yr hwn y cyfranasid iddo gynnifer o roddion gan ei dad ag oedd ddigonol i ddofi ei reswm; etto ni ellid ei ddofi yn fwy na'r sarph fwyaf gwenwynllyd. "Y creaduriaid hynny," eb efe, "a ganiattant ryw esmwythâd, ac ni frathant eu cymmwynaswyr; pan na adawodd Antipater i gospedigaeth ei frodyr i fod yn ddim rhwystr iddo ef; ond efe a aeth ym mlaen er hynny i ddilyn eu barbariaeth. Etto tydi, O Antipater, fel y cyfaddefaist dy hun, ydoedd hyspysydd pa ryw weithredoedd drygionus a wnaethent hwy, a chwiliwr allan dystiolaethau yn eu herbyn; ac awdwr y gosp a aethant tani wedi eu cael yn euog. Ac nid ydym yn dywedyd hyn i'th gyhuddo di, am fod yn ddiwyd yn dy anfoddlonrwydd tu ag attynt hwy; ond y mae'n synn gennym dy ymdrechiadau i ddilyn eu hymddygiad anfoesgar; ac yr ydym yn canfod wrth hynny na ddarfu i ti weithredu y modd hwn er diogelwch dy dad, ond er dinystr dy frodyr; fel trwy gasineb ffuantus i'w drwg hwynt, y gellid dy olygu yn caru dy dad; ac y gellit wrth hynny ddyfod yn feddiannol ar awdurdod i wneud y drygau a fynnit yn ddi-gosp. Pa ryw amcan yr oedd dy weithredoedd dy hun yn ei brofi. Mae'n wir it gymmeryd dy frodyr ymaith, o herwydd dy gyhuddiad o'u drwg-weithredoedd, ond ni roddaist i fynu i gyfiawnder y rhai oedd gyd-weithredwyr â hwynt; ac wrth hynny ti a'i gwnaethost yn amlwg i bawb, it' wneuthur cyfammod â hwynt yn erbyn dy dad, pan ddewisaist fod yn gyhudd-

wr dy frodyr, megis â chwant gennyt i ynnill i ti dy hun yn unig y fantais hon o lunio bradwriaethau i ladd dy Jad, ac felly i fwynhau cyssur deublyg, teilwng yn wir o dy duedd drygionus, yr hon a ddangosaist yn amlwg yn erbyn dy frodyr. Ac ar y cyfrif hwn y llawenychaist yn dy orchest-waith. Ac nid oedd yr ymddygiad hwnnw yn annheilwng o honot ti. Ond os oedd dy fwriadau mewn modd amgen, yr ydwyt yn waeth na hwythau; pan ddyfeisiaist guddio dy fradwriaeth yn erbyn dy dad, ti a'u casëaist hwynt, nid fel bradwyr yn ei erbyn ef, (canys yn yr ystyr hynny ni fuasit yn ymroddi i'r un beiau;) ond fel ei ddilynwyr yn y llywodraeth, ac yn fwy teilwng o'r dilyniad hwnnw na thydi dy hun. Tydi a fynnit ladd dy dad ar ol dy frodyr, rhag i'th gelwyddau a godwyd i'w herbyn ddyfod i'r amlwg; a rhag i ti ddioddef y gospedigaeth a haeddaist, chwennychaist gael o'th dad anned-wydd y gosp honno; ac a ddyfeisiaist y cyfryw ddull o dad leiddiad, a'r na chlywodd y byd am ei fath. Canys tydi, yr hwn wyt ei fab, ni osodaist yn unig amcau bradwriaethus i'w erbyn; a'i wneud o honot pan i'th garodd di, ac yn gwneuthur it' gymmwynasau; a'th osod yn gyfrannogwr ag ef o'r deyrnas; ac hefyd yn ddilynwr cyhoeddus iddo yn y llywodraeth: pan na waharddasit ti i gael prawf eisoes o hyfrydwch awdurdod; ac oedd gennyt obaith cadarn am yr hyn a ddigwyddai trwy benderfyniad dy dad, a'r sicrwydd o ewyllys ysgrifenedig: ond, sicr yw, ni fesuraist ti y pethau hyn yn gyttun â thymmer rinweddol dy dad, ond yn ol dy feddyliau a'th dueddiadau dy hun; ac oeddit yn ewyllysio cymmeryd yr hyn oedd yn aros oddiwrth dy dad, yr hwn a roesai ormod o gynnwysiad i ti; ac a geisiaist ei ddifetha ef â'th weithredoedd, yr hwn wrth dy eiriau a gymmeraist arnat ei amddiffyn. Ac ni foddlonaist i wneuthur drwg dy hun, ond ti a lenwaist feddyliau dy fam â'th ddyfeisiau, ac a godaist derfysgoedd ym mysg dy frodyr; ac a oedd gennyt yr hyfdra o alw dy dad yn un o'r bwystfilod gwylltion, pan oedd gennyt dy hun feddwl creulonach nag un sarph; trwy'r hyn yr wyt yn bwrw allan dy wenwyn hwnnw ym mhlith dy berthynasau agosaf, a'th gymmwynaswyr pennaf; gan eu gwahodd hwynt i'th gynnorthwyo a'th ddiogelu: a thi a gaüaist dy hun i mewn ar bob tu â dyfais meibion a merched, yn erbyn hen ŵr; fel pe na buasai dy feddwl yn ddigon o hono ei hun i gynnal y casineb oedd gennyt i'w erbyn. Ac yna fe ymddengys, wedi darfod arteithio gwŷr rhyddion, a theuluoedd o feibion a merched yn dy achos di; ac yn ol cyhuddiadau dy gyd-fradwyr, megis yn prysuro i wrthddywedyd y gwir; ac a ddychymmygaist ffyrdd, nid yn unig pa fodd i gymmeryd dy dad allan o'r byd, ond i ddilëu y gyfraith ysgrifenedig honno ag sydd yn dy erbyn di; ynghyd â rhinwedd Varus, a natur cyfiawnder. Ië,'r fath yw dy ddigywilydd-dra yr hon yr wyt yn hyderu ynddo, fel y dymunaist dy roi ar yr arteithfa dy hun; tra'r wyt yn haeru fod arteithiau y rhai a holwyd trwy hynny eisoes yn gwneuthur iddynt ddywedyd celwydd: fel na byddo i'r rhai a achubasant dy dad, gael eu caniattau yn dywedyd gwirionedd; ond fel y byddo i'th arteithiau di gael eu cyfrif yn fynegiad y gwir. A fydd i ti, O Varus, waredu'r brenin oddiwrth niweid gan ei berthynasau? Oni ddifethi di y bwystfil gwyllt hwn, pa un a gymmerodd arno ddangos caredigrwydd i'w dad mewn trefn i ddifetha ei frodyr? tra mae efe etto ei hun yn barod i gymmeryd iddo y deyrnas yn ebrwydd; ac sy'n ymddangos ei hun yn llofrydd mwyaf arswydus o honynt i gyd. Canys yr wyt ti yn deimladwy fod tad-leiddiad yn niweid cyffredinol, yn gystal i naturiaeth, ac i fywyd dynol yn gyffredin. Ac nid yw tad-leiddiad bwriadol o is-radd i'w wneuthuriad: a'r neb ni chospa hyn sydd niweidiol i natur ei hun."

Nicolaus a chwanegodd ymhellach, yr hyn a berthynai i fam Antipater; a'r hyn a siaradasai hi megis gwraig; ac hefyd am y * rhagfynegiadau a'r aberthau perthynol i'r brenin; a pha beth bynnag a wnaethai Antipater yn anweddus gyd â'i gwpanau, ac ym mhlith merched Pheroras; yr holiadau ar yr arteithfa, a pha beth bynnag a berthynai i'r tystion; y rhai oeddynt yn aml, ac o amryw ddull: rhai wedi eu parot-

* Pen. 2.

toi ym mlaen llaw, ac eraill trwy attebiadau disymmwth, yr hyn ymhellach oedd yn dangos cadarnhad o'r tystiolaethau blaenorol. Canys y dynion hynny a'r nad oedd yn hyspys o ymarferiad Antipater, ond a'u cuddiasant yn ddirgel trwy ofn; pan welsant ei fod yn agored i gyhuddiadau y tystion blaenorol; a bod ei lwyddiant yr hwn a'i cynnaliasai i fynu hyd yn hyn, wedi ei fradychu i ddwylaw ei elynion, y rhai yn wir ni ddigonid â chasineb, a dywedasant y cwbl a wyddent am dano. Ai ddinystr yn awr a brysurodd, nid yn gymmaint o herwydd gelyniaeth y rhai oeddynt ei gyhuddwyr, a thrwy ei ddyfais wrthun, ddigywilydd, a drygionus, a'i ddrwg-ewyllys i'w dad a'i frodyr: pan ydoedd wedi llenwi eu tŷ â chythrwfl, a pheri iddynt lofruddio y naill y llall: ac nid ydoedd yn gyhoedd yn ei gasineb, na charedig yn ei gyfeillach; ond yn unig cyn belled ag y gwasanaethai'r tro iddo ei hun. Yn awr, yr oedd nid ychydig o rai a ganfyddent hyn oll ym mlaen llaw; yn enwedig y sawl a dueddid yn naturiol i farnu pethau yn ol rheolau rhinwedd; o herwydd eu bod yn arfer penderfynu pethau trwy bwyll: ond a rwystrasid i wneud achwynion o'r blaen; y rhai hyn, trwy 'r caniattâd a roddwyd yn awr, a osodant yr hyn oll a wyddent o flaen y cyffredin. Y dystiolaeth am y gweithredoedd drwg hyn hefyd ni ellid mewn un modd eu gwrth-brofi; o herwydd nad oedd yr amrywiol dystion hyn yn llefaru oddiar ffafr i Herod; ac nid oedd rhwymau arnynt i gadw yr hyn a wyddent yn guddiedig, oddiwrth dybiau eu bod mewn perygl: ond dywedant yr hyn a wyddent, ar gyfrif dychymmygu o honynt eu bod yn ddrygionus; a bod Antipater yn haeddu y gosp drymmaf; ac yn wir nid cymmaint o ran diogelwch Herod, ac ar gyfrif drwg y dyn ei hunan." Llawer o bethau hefyd a ddywedwyd gan nifer mawr o ddynion y rhai nid oeddynt mewn un modd yn rhwymedig i hynny. Yn gymmaint ag nad oedd Antipater, yr hwn a arferai fod yn ëofn yn ei ffraethineb a'i gelwyddau, yn alluog i ddywedyd gair. Wedi i Nicolaus roddi heibio lefaru, a dwyn tystiolaeth ddigonol ger bron; parodd Varus i Antipater wneud ei amddiffyniad, os ydoedd wedi parottoi rhyw beth, trwy 'r hyn yr ymddangosai nad oedd yn euog o'r beiau y cyhuddasid ef o honynt. Canys fel yr oedd ei hun yn ewyllysio, felly y gwyddai fod ei dad yn ewyllysgar hefyd i'w gael ef yn gwbl ddi-euog. Ond Antipater a syrthiodd i lawr ar ei wyneb, ac a appeliodd at Dduw, a phob dyn, am dystiolaeth o'i ddiniweidrwydd: gan ddymuno i Dduw ddangos trwy arwyddion amlwg na luniasai ef un fradwriaeth yn erbyn ei dad. Dyma ffordd arferol dynion ymddifad o rinwedd: pan ymosodant yngbylch rhyw ddrwg weithredodd, maent yn gogwyddo at gyflawni hynny yn ol eu tueddiadau eu hunain; fel pe byddent yn credu nad yw Duw yn sylwi ar fatterion dynol: ond pan unwaith y ceir hwynt allan, a'u bod mewn perygl o fyned tan y gosp ddyledus am eu beiau; hwy a ymdrechant i ddadymchwel pob tystiolaeth a osodir yn eu herbyn, trwy appelio at Dduw. A hyn oedd y peth yn awr a wnaeth Antipater. Canys fel y gwnaethai bob peth megis pe buasai heb un Duw yn y byd; pan gyfyngwyd arno gan gyfiawnder ar bob tu; a phan nad oedd ganddo un fantais arall i'w ddisgwyl oddiwrth un profiad cyfreithlon, trwy 'r hyn y gallai wrth-brofi y cyhuddiadau a osodasid i'w erbyn; efe yn ddigywilydd a ammharchai fawrhydi Duw, ac a'i cyfrifodd i'w allu ef ei fod wedi ei gadw hyd hynny; gan osod o'u blaen yr holl anhawsderau yr aethai trwyddynt yn ei anturiaethau hyfion er diogelwch i'w dad.

Felly Varus, yn ol gofyn i Antipater yr hyn oedd ganddo i ddywedyd trosto ei hun; a chael nad oedd ganddo ddim i'w grybwyll heblaw ei appeliad at Dduw; a chan weled nad oedd diwedd ar hynny; efe a orchymmynodd iddynt ddwyn y ddiod-feddyginiaeth o flaen y llys; fel y gwybyddai pa rinwedd oedd etto yn aros ynddo. Ac wedi ei ddwyn ger bron, ac i un a fwriasid yn euog ei lyngcu, wrth orchymmyn Varus, bu iddo farw yn ddi-oed. Yna Varus a gododd i fynu ac a aeth ymaith o'r llys; ac a ymadawodd ymaith y dydd nesaf i Antioch, lle'r oedd ei arferol breswylfa, o herwydd yno'r

oedd palas y Syriaid. Ar hyn Herod a ddododd ei fab tan rwymau; ond pa ymddiddanion a fu rhwng Varus a Herod, ni wyddid gan cyffredin; nac ar ba ryw eiriau yr aethai ymaith. Er fod pawb yn barnu, yr hyn beth bynnag a wnaethpwyd gan Herod yn ol hyn yngbylch ei fab, ei wneuthur yn ol ei gymmeradwyad ef. Ond pan rwymodd Herod ei fab, efe a ddanfonodd lythyrau i Rufain ymherthynas iddo ef; a'r fath gennadwyr yn y cwbl, ac a fynegai trwy awdurdod i Cæsar am anwiredd Antipater. Yn awr ar y pryd hwn, cafwyd llythyr oddiwrth Antiphilus, wedi ei ysgrifenu at Antipater, o'r Aipht, (canys yr oedd efe yn aros yn yr Aipht;) a phan agorwyd ef gan y brenin, fe gafwyd ei fod yn cynnwys fel y canlyn:—

"Danfonais i ti lythyr oddiwrth Acme; ac a beryglais fy mywyd fy hun; canys ti wyddost fy mod mewn perygl oddiwrth ddau deulu, os datguddir fi. Dymunwn it' lwyddiant da yn dy achosion."

Dymma ydoedd gynnwysiad y llythyr hwn. Ond y brenin a wnaeth ymofyniad yngbylch y llythyr arall hefyd; canys nid ymddangosasai etto. A chaethwas Antiphilus, yr hwn a ddygasai y llythyr, a wadodd iddo dderbyn y llythyr arall. Ond pan oedd y brenin mewn amheuaeth am dano, un o gyfeillion Herod yn gweled gwniad neu wrym ar hugan isaf y caethwas, a phlyg yn y brethyn; (canys yr oedd dwy hugan am dano;) dychymmygodd y gallai'r llythyr fod yn y plyg hwnnw; yr hyn yn ganlynol a brofodd yn wir. Felly hwy a dynnasant allan y llythyr, a'i gynnwysiad oedd y pethau canlynol:—

"Acme at Antipater. Ysgrifenais y fath lythyr at dy dad ag a ddymunaist arnaf. Cymmerais hefyd gopi, ac a'i danfonais, megis pe daethai oddiwrth Salome at fy arglwyddes Livia. Yr hwn pan ddarllenych mi wn y cospir Salome gan Herod, megis un yn bradwriaethu yn ei erbyn."

Yn awr, y llythyr ffuantus hwn oddiwrth Salome at ei harglwyddes, a gyfansoddwyd gan Antipater, yn enw Salome, o ran ei wir ystyr; ond yn ngeiriau Acme. Y llythyr oedd hyn;—

"Acme at y brenin Herod. Mi ymdrechais fy ngoreu na chae dim a wnaed i'th erbyn di fod yn guddiedig rhagot. Felly pan gefais lythyr o'r eiddo Salome, wedi ei ysgrifennu at fy arglwyddes yn dy erbyn di, ysgrifennais gopi o hono, ac a'i danfonais i ti; er perygl im fy hun, ond er dy fantais di. Y rheswm paham yr ysgrifenodd ef ydoedd hyn; am ei bod yn meddwl priodi â Sylleus. Rhwyger gan hynny y llythyr hwn gennyt ti yn ddarnau, fel na ddelwyf fi i berygl am fy mywyd."

Yn awr Acme a ysgrifenasai at Antipater ei hun, ac a hyspysodd iddi, mewn cydsyniad â'i orchymmyn, ddarfod iddi ysgrifenu at Herod, megis pe buasai Salome wedi gosod bradwriaeth yn ddisymmwth yn ei erbyn ef, a'i bod ei hun wedi danfon copi o epistol, megis wedi dyfod oddiwrth Salome at ei harglwyddes. Yn awr Acme ydoedd Iuddewes o enedigaeth, a gwasanaethyddes i Julia, gwraig Cæsar; ac a wnaeth hyn oddiwrth ei chyfeillgarwch ag Antipater, megis wedi ei hudo ganddo ag anrheg fawr o arian, i'w gynnorthwyo yn ei amcanion dichellddrwg yn erbyn ei dad, a'i chwaer.

Ar hyn Herod ydoedd wedi cythruddo cymmaint wrth anferth ddrygioni ei fab, fel ag yr oedd yn barod i orchymmyn lladd ei fab yn union-gyrch, megis dyn cynhenllyd, mewn pethau o bwys mwyaf; ac fel un a osodasai fradwriaeth, nid yn unig yn ei erbyn ei hun, ond yn erbyn ei chwaer hefyd; ac wedi llygru hefyd deulu Cæsar ei hun. Salome hefyd a'i cynhyrfodd i hynny gan guro ei dwyfron, a pheri iddo ei lladd hi, os gallai gael tystiolaeth gredadwy, ddarfod iddi weithredu yn y modd hwnnw. Herod hefyd a ddanfonodd am ei fab, ac a ofynodd iddo am y matter hwn, ac a barodd iddo ei wrthddywedyd os gallai; a pheidio celu un peth oedd ganddo i ddywedyd trosto ei hun. A phan nad oedd ganddo un gair i'w ddywedyd, efe a archodd, gan ei fod wedi ei ddal bob ffordd yn ei ddrygioni, na oedai ddim yn hwy heb wneud datguddiad o'i gymdeithion yn ei annuwiol amcanion. Felly fe osododd y cwbl ar Antiphilus: ond ni ddatguddiodd neb arall

heblaw efe. Ar hyn yr oedd Herod tan y fath ofid, a'i fod yn barod i ddanfon ei fab i Rufain, at Cæsar, i roddi cyfrif yno o'i ddrwg ddyfeision. Ond efe yn fuan a ofnodd, rhag iddo trwy gymmorth ei gyfeillion, ddiangc rhag y perygl yr oedd ynddo. Felly fe'i cadwodd yn rhwym megis o'r blaen; ac a ddanfonodd ychwaneg o gennadwyr â llythyrau i Rufain, gyd â chyhuddiadau yn erbyn ei fab; a hanes y cynnorthwy a roisai Acme iddo yn ei ddrwg amcanion; gyd â chopïau o'r epistolau rhag-grybwylledig.

## PENNOD VI.

*Am yr afiechyd á ddaeth ar Herod; ymrysoniadau yn cyfodi ar yr achos ym mysg yr Iuddewon; a chospedigaeth y terfysgwyr.*

YN awr, cennadwyr Herod a frysiasant i Rufain; ond a aethant yno megis wedi eu haddysgu ym mlaen llaw pa attebion i'w roddi i'r cwestiwnau a ofynnid ganddynt. Hwy hefyd a ddygasant yr epistolau gyd â hwynt. Ond Herod yn awr a syrthiodd i glefyd, ac a wnaeth ei ewyllys, ac a adawodd ei deyrnas i Antipas ei fab ieuangaf: a hynny oddi ar y casineb hwnnw at Archelaus a Philip, a gyfodasai achwyniadau Antipater ynddo ef, yn eu herbyn hwynt. Efe a addawodd fil o dalentau i Cæsar; a phum cant i wraig Cæsar, plant, cyfeillion, a gwŷr rhyddion. Efe a ddosparthodd ym mysg ei feibion a'i wyrion ei arian, ei deyrnged, a'i diroedd. Efe hefyd a adawodd gyfoeth mawr i'w chwaer Salome, o herwydd parhau o honi yn ffyddlon iddo yn ei holl amgylchiadau; ac ni fu un amser mor angharedig ag i wneuthur niweid iddo ef. Ac fel yr oedd yn anobeithio gwella, (canys yr ydoedd ynghylch y ddegfed flwyddyn a thrugain o'i oedran); efe a dyfodd yn orwyllt, ac a gynnwysodd y digter mwyaf ar bob achosion. Yr achos oedd, ei fod yn dychymmygu ei hun yn cael ei ddirmygu, a bod y genedl yn ymhyfrydu yn ei aflwyddiant. Heblaw hynny efe a ddialodd ar ymbleidiau a godasai yn ei erbyn, gan rai o'r radd iselaf, ar yr achos canlynol:

Yr ydoedd un Judas, mab i Saripheus; a Matthias, mab i Margalothus; dau o wŷr mwyaf ymadroddus ym mysg yr Iuddewon; a dehonglwyr parchus o'r cyfreithiau Iuddewig; a dynion a gerid yn fawr gan y bobl o herwydd eu dysgeidiaeth: canys y rhai a fyfyrient ar rinwedd a fynych wrandawent ar eu darlleuyddiaeth, ïe, yn feunyddiol. Y gwŷr hyn, pan ddeallasant fod afiechyd y brenin yn anfeddyginiaethol, a gynnyrfasant y gwŷr ieuaingc i dynnu i lawr yr holl weithiau a adeiladodd y brenin, yngwrthwyneb i gyfraith eu tadau; a thrwy hynny cael meddiannu'r gwobrwyon a ordeiniau'r gyfraith iddynt am y fath weithredoedd o dduwioldeb. Oblegid mae'n sicr mai ar gyfrif byrbwylldra Herod yn gwneuthur y fath bethau ag a waharddai'r gyfraith, y daethai ei holl aflwydd arall, ynghyd â'i afiechyd presennol, yr hwn oedd mor anarferol y'mysg dynolryw, ac â'r hwn y cystuddiwyd ef yn awr, arno ef. Canys Herod a fu yn achos o wneud y cyfryw bethau ag oedd wrthwyneb i'r gyfraith; o'r hyn y cyhuddwyd ef o flaen Judas a Matthias: canys y brenin a wnaethai uwch ben porth mwyaf y deml, eryr euraidd o faintioli mawr, ac a'i cyssegrai i'r deml. Yn awr, y mae'r gyfraith yn gwahardd i'r rhai a fyddant fyw'n ol ei rheol, i * wneuthur lluniau neu ddangosiadau o neb rhyw greaduriaid byw. Felly y gwŷr hyn a berswadiasant eu hysgolheigion i dynnu yr eryr euraidd i lawr: gan sicrhau iddynt, er dyfod unrhyw berygl arnynt a allai beri eu marwolaeth, byddai i rinwedd y weithred a gynhygid yn awr iddynt ei chyflawni, ymddangos yn fwy manteisiol iddynt na phleserau'r bywyd; gan y byddent feirw er mwyn cynnal i fynu, a chadw cyfraith eu tadau: a byddai iddynt hefyd ynnill bythol glod, a chanmoliaeth: oblegid y byddent gymmeradwy gan y genedl bresennol; y gadawent siampl o ymddygiad na anghofio mo'no byth gan genhedlaethau ar ol. Chwanegasant hefyd, mai gan na ellid gochelyd y cystudd cyffredin o farwolaeth, trwy fod i ni gael byw felly, fel ag i ddiangc rhag y cyfryw beryglon, yr ydoedd yn iawn i'r rhai a garent fuchedd

* Nad oedd gwneuthur lluniau neu ddelwau, heb amcan i'w haddoli, yn anghyfreithlon i'r Iuddewon, gwel y nôd ar Llyfr VIII. pen. 7.

rinweddol, i ddisgwyl am y fath angeuol, trwy 'r cyfryw ymddygiad ag â'u dygai allan o'r byd gyd â chlod ac anrhydedd: ac yr esmwythäi farwolaeth i raddau mawr trwy gyfarfod â'r amgylchiad hwnnw ynghyflawniad gweithred o wrolder ynghanol peryglon; ac ar yr un pryd i adael y clod hwnnw o'u hol i'w plant a'u perthynasau, yr hyn a fyddai o fawr fantais iddynt yn ol hynny.

Gyd â'r fath ymddiddanion y darfu i'r gwŷr hyn aanog eu disgyblion i'r weithred yma; ac a gair wedi dyfod attynt ddarfod marw'r brenin, hyn a gryfhaodd eu hannogaeth. Felly ynghanol y dydd hwy a ddisgynasant i'r lle, gan dynnu'r eryr i lawr, a'i dorri â bwyill yn ddarnau, tra'r oedd nifer mawr o bobl yn y deml. Ac yn awr, cadben y brenin wedi clywed am yr hyn a wnaethpwyd; a chan feddwl ei fod yn beth o natur mwy nag y profodd fod, a ddaeth i fynu yno, a llu o filwyr gyd ag ef, cynnifer ag oedd ddigonol i roddi attal ar y lliaws a dynnent i lawr y peth oedd wedi ei gyssegru i Dduw. Felly fe syrthiodd arnynt yn annisgwyliadwy, a phan oeddynt ar yr antur hon o hyfdra, a ffol ryfyg, yn hytrach nag ar weithred ochelgar, fel y mae'n arferol gyd â'r lliaws, a phan oeddynt mewn annhrefn, ac yn anystyriol o'r hyn oedd er eu llesâd. Felly fe ddaliodd nid llai nifer na deugain o'r gwŷr ieuaingc, y rhai oedd ganddynt y cefnogrwydd o sefyll ar ol, wedi ffoi o'r lleill ymaith; ynghyd ag awdwyr yr anturiaeth hyf yma, Judas a Matthias, y rhai a'i tybiasant yn beth cywilyddus i gilio ar eu nesâd hwynt, ac a'u harweiniodd at y brenin. Ac wedi eu dyfod o flaen y brenin, ac iddo ynteu ofyn iddynt, A fuasent mor hyf a thynnu i lawr yr hyn a gyssegrasai efe i Dduw? "Do," ebe hwy, "yr hyn a ddyfeisiwyd a ddyfeisiasom, a'r hyn a wnaethpwyd a wnaethom; a hynny gyd â'r fath gefnogrwydd gwrol ag sydd yn gweddu i ddynion. Canys nyni a roesom gymmorth i'r pethau hynny a gyssegrwyd i fawrhydi Duw: ac nyni a wnaethom barottoad i'r hyn a ddysgasom trwy wrando 'r gyfraith. Ac ni ddylai 'r peth gael ei ryfeddu, os cyfrifwn y deddfau hynny a draddododd Moses i ni, y rhai a ddysgwyd iddo gan Dduw, y rhai a ysgrifennodd ac a adawodd o'i ol, yn fwy teilwng o sulw na'th orchymmynion di. Yn ganlynol nyni a ymostyngwn i farwolaeth, a phob math o gospedigaeth a elli di ddodi arnom, gyd ag ewyllysgarwch, gan ein bod yn gydwybodol i ni ein hunain na byddwn farw am un weithred anghyfiawn, ond o herwydd ein cariad i grefydd." Ac wedi i'r brenin orchymmyn eu rhwymo hwynt, efe a'u danfonodd i Jericho, ac a alwodd ynghyd y gwŷr pennaf ym mysg yr Iuddewon, efe a'u cyfleodd hwynt yn dyrfa yn y chwareudy: ac o herwydd na 's gallai sefyll i fynu wrtho ei hun; efe a bwysodd ar gadair esmwyth; gan gyfrif yr amrywiol lafur a gymmerasai er eu mwyn; a'i waith yn adeiladu 'r deml, a'r fath draul fawr a fuasai hynny iddo: pan na ddarfu i'r Asmoneaid, yn oed eu llywodraeth o bum mlynedd ar hugain a chant, allu cyflawni gwaith mor ehang er anrhydedd i Dduw ag a wnaethai efe. Dywedodd hefyd ei haddurno ganddo â rhoddion tra gwerthfawr: ar ba gyfrif yr ydoedd yn gobeithio adael iddo ei hun goffadwriaeth, ac ynnill iddo glod ar ol ei farwolaeth. Yna fe lefodd allan, nad ymarbedodd y dynion hynny rhag ei ddigio ef, ïe yn amser ei fywyd: ond darfod iddynt ar ganol dydd, ac yngolwg y lliaws, ei ddirmygu i'r fath radd, ac i syrthio ar yr hyn a gyssegrasai, a thrwy 'r ffordd honno o ddirmyg a'i tynnasant i lawr i'r ddaear. Hwy a gymmerent arnynt yn wir iddynt ei wneuthur i'w ddigio ef; ond os ystyria neb y peth yn wirioneddol, hwy a gant allan eu bod yn euog o gyssegr-yspeiliad yn erbyn Duw.

Yn awr y bobl, o herwydd tymmer farbaraidd Herod; a rhag ofn y byddai mor greulon a gosod cosp o farwolaeth arnynt, a ddywedasant; am yr hyn a wnaethpwyd ddarfod ei wneuthur heb en cymmeradwyad hwy: a'i fod yn ymddangos y gellid cospi y gweithredwyr yn gyfiawn. Ond am Herod, efe a ddeliodd yn fwy tyner ag eraill o'r dyrfa. Ond efe a ddifuddiodd Matthias o'r archoffeiriadaeth, megis mewn rhan am y weithred hon: ac a wnaeth Joazar, brawd gwraig Matthias, yn archoffeiriad yn ei le. Yn awr, fe ddigwyddodd yn amser archoffeiriadaeth y Mat-

thias hwn wneud un arall yn archoffeiriad am un dydd; pa ryw ddydd oedd hwnnw y cedwid ympryd arno. Yr achos ydoedd fel y canlyn: Y Matthias hwn, archoffeiriad, yn y nos o flaen y dydd hwnnw ag oedd â'r ympryd i'w gynnal, a ymddangosai, mewn * breuddwyd, ei fod yn ymddiddan â'i wraig: ac oblegid na allai wasanaethu ei swydd ei hun ar y cyfrif hwnnw; Joseph, mab Ellemus, ei gâr, a'i cynnorthwyodd yn y swydd gyssegredig honno. Ond Herod a ddifuddiodd y Matthias hwn o'r archoffeiriadaeth; ac a losgodd y Matthias arall, yr hwn a godasai'r ymryson, gyd â'i gymdeithion yn fyw. Ac yn y † nos honno fe ddigwyddodd diffyg ar y lleuad.

Ond yn awr afiechyd Herod a gynnyddodd arno ef mewn modd llymdost; a hyn trwy farn Duw oblegid ei bechodau. Canys gwres tufewnol megis tân a gynnyddodd yn raddol ynddo, yr hwn ni ymddangosodd gymmaint yn y teimlad oddiallan, ag y chwanegodd ei boen oddimewn. Parodd ynddo hefyd chwant tanbaid i fwytta, yr hyn ni allai ymogelyd ei ddiwallu â rhyw fath o luniaeth neu gilydd. Ei ymysgaroedd hefyd a ddoluriodd gan welïau; a chwydd dyfrllyd a gymmerodd le o amgylch ei draed, ac a fagodd hefyd yng ngwaelod ei fol. A phan safai yn union-syth yr oedd ei anadl yn fyr ac yn ddiffygiol, gyd ag arogl ddrewedig oddi wrthi. Yr oedd crebychiad hefyd ym mhob rhannau o'i gorph; yr hyn a'i gwanhaodd i rannau anesgorol. Dywedid gan y rhai a gymmerent arnynt ddewinio, a'r rhai a gynnysgaeddid â dawn i ddeall y fath bethau, ddarfod i Dduw ddwyn y gospedigaeth yma ar y brenin o herwydd ei fawr annuwioldeb. Etto yr oedd efe yn gobeithio gwellhau, er bod ei gystuddiau yn ymddangos yn fwy nag a allai un dyn ei oddef. Efe hefyd a ddanfonodd am feddygon, ac ni phallodd ddilyn y cyfarwyddiadau a roisant iddo er adferiad o'i iechyd: ac efe a aeth tu hwnt i afon yr Iorddonen, ac a ymdrochodd ei hun yn yr ymolchfeydd yn Callirrhœ; y rhai, heblaw eu rhinweddau eraill, oeddynt yn gymmwys i'w hyfed; dwfr pa rai sydd yn rhedeg i'r llyn a elwir Asphaltites. A phan oedd y physygwyr unwaith yn meddwl yn gymmwys iddo ymdrochi mewn cerwyn o olew, tybiwyd ei fod yn agos i farwolaeth. Ond wrth gri wylofus ei deulu, efe a adfywiodd; ac heb ganddo y gobaith lleiaf o adferiad mwyach; rhoddodd orchymmyn am dalu i bob milwr ddeg a deugain drachmæ; ac a roddodd hefyd roddion mawr i'w blaenoriaid, a'i gyfeillion; ac a ddaeth drachefn i Jericho. Yno, pa fodd bynnag, efe a dyfodd mor anynad, ac a'i dygodd i wneud pob peth fel dyn gwallgofus: ac er ei fod yn agos i farw, efe a ddyfeisiodd y drwg-amcanion a ganlyn. Efe a orchymmynodd i holl wŷr pennaf y genedl Iuddewig, pa le bynnag yr oeddynt yn byw, gael eu galw atto ef. Yn ganlynol, nifer mawr a ddaethant, o herwydd rhoddi galwad i'r holl genedl; a phawb a glywsant am yr alwad hynny: a marwolaeth ydoedd y gosp i'r rhai a anufuddhaent yr epistolau a ddanfonasid i'w galw hwynt: ac yn awr y brenin ydoedd mewn cynddaredd gwyllt yn eu herbyn oll; y rhai diniweid, yn gystal a'r rhai hynny a barodd sail i'w cyhuddiad. A phan ymddangosasant, efe a orchymmynodd eu caëad oll i fynu yn yr ‡ Hippodrome: ac a ddanfonodd am ei chwaer Salome, a'i gwr Alexas; ac a lefarodd fel hyn wrthynt:

"Myfi a fyddaf farw y'mhen ychydig, oblegid mor fawr yw fy mhoen; yr hon farwolaeth a ddylid ei oddef yn siriol, a'i roesawi gan bob dynion. Ond yr hyn sydd bennaf yn fy mlino yw, y byddaf farw heb alaru am danaf, ac heb y fath alar ag a ddisgwylir gan ddynion yn gyffredin ar farwolaeth brenhinoedd. Canys

* Yr adroddiad hwn, ddarfod i un Joseph gael ei wneuthur yn archoffeiriad am un diwrnod, o herwydd y ddamwain a oddiweddodd Matthias, y gwir archoffeiriad, yn ei gwsg, y nos o flaen dydd mawr y cymmod, sy 'n cael ei wirio gan y Mishna a'r Talmud, fel y mae Dr. Hudson yma yn hyspysu i ni. Ac yn wir oddiwrth y tro hwn, a dystir mor gyflawn am dano, gallwn wrthbrofi y rheol ffuantus honno yn y Talmud, na oddefid i'r archoffeiriad gysgu y nos o flaen y dydd mawr hwnnw: yr hyn wylio tros y nos honno yn hytrach a'i anghymmwysai i'r amrywiol ddyledswyddau pwysig ag ydoedd i gyflawni ar y dydd arbennig hwnnw na 'i gymhwyso i ddyledus gyflawniad o honynt.

† Y diffyg yma ar y lleuad, (yr hwn yw 'r unig ddiffyg crybwylledig gan Josephus yn ei holl ysgrifenadau,) sydd o'r canlyniad mwyaf i benderfynu amser morwolaeth Herod ac Antipater; ynghyd â genedigaeth a holl amseryddiaeth ein Hiachawdwr Iesu Grist. Digwyddodd iddynt farw Mawrth 13, yn y flwyddyn o gyfrifiad Julian o oed y byd 4710.; a'r bedwaredd flwyddyn o flaen dechreu 'r cyfrif Cristionogol.

‡ Lle o redfa meirch.

Canys nid wyf yn anhyspys o dymmer yr Iuddewon; ond a wn y bydd fy marwolaeth yn beth tra dymunol a chymmeradwy ganddynt: oblegid yn amser fy mywyd yr oeddynt yn barod i wrthgilio oddiwrthyf, ac ammharchi y rhoddion a gyssegraswn i Dduw. Eich gorchwyl chwi gan hynny ydyw ymdrechu i roddi i mi beth esmwythâd oddiwrth fy mawr ofid ar yr achos yma. Canys os na wrthodwch eich cydsyniad â'r hyn a ddymunaf, bydd i mi alar mawr yn fy angladd, a'r fath na fu i un brenin o'm blaen. Canys yna fe fydd i'r holl genedl alaru o waelod eu heneidiau, yr hyn yn amgen a wneir mewn rhith a gwawd yn unig. Dymunaf gan hynny i chwi, mor gynted ag y gweloch fi wedi rhoddi i fynu 'r yspryd, osod milwyr o amgylch yr hippodrome; ac na fyddo i chwi hyspysu fy marwolaeth i'r lliaws hyd oni wneler hyn: ond chwi a roddwch orchymmyn i ergydio at y rhai sydd tan wyliadwriaeth yno â saethau, fel y lladder hwynt; a'r lladdfa yma o honynt oll a bâr na fethaf orfoleddu ar ddau achos; mai fel megis ag yr wyf yn marw, chwi a sicrhewch i mi y bydd i'm hewyllys gael ei gyflawni yn yr hyn a orchymmynwyf i chwi o'i blegid; ac y bydd i mi'r anrhydedd o alar coffadwriaethol yn fy angladd."

Yna efe a ofidiodd o herwydd ei amgylchiad, â dagrau yn ei lygaid: ac a'u tynghedodd hwynt trwy'r caredigrwydd dyledus iddo oddiwrthynt fel ei garennydd, a'r ffyddlondeb oeddynt yn rhwym iddo tu ag at Dduw: ac a ddeisyfodd ganddynt na rwystrent ef i gael y galar anrhydeddus hwn yn ei angladd. Felly hwy a addawsant na throseddent ei orchymmynion.

Yn awr, gall y sawl a fynno ddeall tymmer meddwl y dyn hwn: pa un nid yn unig oedd yn cymmeryd pleser yn gwneuthur yr hyn a wnaethai o'r blaen tu ag at ei berthynasau, o serch i ddiogelu ei fywyd; ond wrth y gorchymmynion hynny o'r eiddo, pa rai nid oeddynt yn archwaethu dynoliaeth: gan iddo gymmeryd gofal, pan oedd ar ymadael allan o'r byd hwn, ar fod i'r holl genedl gael ei dodi i alaru, wedi eu hymddifadu o'u carennydd agosaf; a gorchymmyn i un o bob teulu gael ei ladd; er na wnaethent ddim yn anghyfiawn, neu ag oedd yn ei erbyn: ac ni chyhuddasid hwynt o un bai arall: pan y mae'n arferol gyd â'r rhai a fo a chanddynt ddim parch i rinwedd, i roddi heibio gasineb ar y fath amser; ïe mewn perthynas i rai ag oeddynt yn gyfiawn yn eu cyfrif yn elynion iddynt.

## PENNOD VII.

*Am gynnygiad Herod i ddwyn ymaith ei fywyd ei hun; ac am gospedigaeth Antipater.*

FEL ag yr oedd Herod yn rhoddi'r gorchymmynion hyn i'w berthynasau, dygwyd llythyrau oddiwrth ei gennadwyr, y rhai a ddanfonasid i Rufain at Cæsar: y rhai pan ddarllenwyd, a hyspysodd iddo, fod Acme wedi ei difetha gan Cæsar, oddiar ei ddigllonedd wrth y llaw oedd ganddi yngweithredoedd annuwiol Antipater; ac ymherthynas i Antipater ei hun, Cæsar a adawodd ar Herod ymddwyn tu ag atto fel y gweddai i dad ac i frenin: ac un ai ei alltudio, neu gymmeryd ymaith ei fywyd, fel ac y dewisai. Pan glybu Herod hyn yr ydoedd ryw faint yn well, trwy'r pleser a gafodd oddiwrth gynnwysiad y llythyrau; ac a lawenychodd am farwolaeth Acme, ac am yr awdurdod a roddasid iddo ar ei fab. Ond fel yr oedd ei gystuddiau yn chwanegu yn fawr, yr ydoedd yn awr ym mron llewygu o ddiffyg rhyw beth i'w fwytta. Felly efe a alwodd am afal, a chyllell gyd ag ef; canys ei arfer ydoedd o'r blaen bilio afal ei hun, ac yn fuan ar ol hynny ei dorri a'i fwytta. Wedi ymaflyd yn y gyllell, efe a edrychodd o'i amgylch, ac a geisiodd frathu ei hunan â hi; ond ei gefnder Archiabus a'i rhwystrodd, ac a attaliodd ei law, gan lefain allan yn uchel: ar ba achos y dadseiniodd wylofain trwy'r holl balas, a chynnwrf mawr a wnaethpwyd, megis pe darfuasai am y brenin. Ar hyn Antipater, yr hwn a gredodd yn sicr fod ei dad wedi darfod am dano, a dyfod yn hyf yn ei ymadroddion; megis yn disgwyl yn ddioed gael ei ryddhau o'i rwymau, a chymmeryd arno lywodraeth y deyrnas. Felly fe ymddiddanodd â cheidwad y carchar ynghylch ei ollwng ymaith; ac ar yr ammod hwnnw a addawodd iddo bethau mawrion, yn gystal y pryd hwnnw, ag mewn amser a ddeuai, megis pe hynny a fuasai'r unig beth yn awr i'w gwestiwno. Ond ceidwad y carchar ni ddarfu iddo yn unig wrthod yr hyn a fynnai Antipater iddo ei wneuthur, ond a hyspysodd i'r brenin ei fwriadau, a pha gynnifer o

daer-erfynion a wnaethai atto ef i'r diben hwnnw. Ar hyn Herod, yr hwn ni fuasai ganddo gynt ddymuniad nac ewyllys i ffrwyno ei fab, pan glywodd yr hyn a ddywedai ceidwad y carchar, efe a waeddodd allan, ac a ddulìodd ei ben, er ei fod ym min marw: a chyfododd ei hun ar ei benelin, gan anfon am rai o'i warchawdlu, a gorchymmyn iddynt ladd Antipater heb oedi ymhellach; ond ei wneuthur yn union-gyrch; a'i gladdu mewn modd ammharchus yn Hyrcania.

## PENNOD VIII.

### *Am Farwolaeth Herod, ei Ewyllys, a'i Gladdedigaeth.*

HEROD yn awr a newidiodd ei ewyllys, ar gyfnewidiad ei feddyliau: canys efe a appwyntiodd Antipas, i'r hwn o'r blaen y gadawsai 'r deyrnas, i fod yn detrarch Galilea a Perea; ac a ganiattaodd y deyrnas i Archelaus. Efe hefyd a roddodd Gaulonitus, Trachonitis, a Paneas, i Philip, yr hwn ydoedd ei fab, ond brawd Archelaus* ei hun, wrth yr enw tetrarch ar y lleoedd hynny: ac a adawodd Jamnia, Ashdod, a Phasaelus, i Salome ei chwaer, gyd â phum can mil drachmæ o arian bathedig. Efe hefyd a wnaeth arlwyad tros ei holl garennydd eraill; trwy roddi symiau o arian iddynt, a theyrnged flynyddol: ac felly a'u gadawodd oll mewn amgylchiad cyfoethog. Gadawodd hefyd i Cæsar ddeng miliwn o drachmæ, yn arian bathedig: heblaw llestri o aur ac arian, a gwisgoedd tra chostfawr i Julia, gwraig Cæsar; ac i amryw eraill bum miliwn. Wedi gwneuthur hyn efe a fu farw, y pummed dydd wedi gorchymmyn lladd Antipater: wedi teyrnasu ar ol cael o hono ladd † Antigonus bedair blynedd ar ddeg ar hugain; ond wedi ei ddatgan yn frenin gan y Rhufeiniaid, dwy flynedd ar bymtheg ar hugain. Dyn ydoedd o fawr greulondeb tu ag at bawb; a chaethwas i'w nwydau; pan fyddai uwchlaw ystyriaeth o'r hyn oedd gyfiawn. Etto efe a ffafrwyd gan ffortun neu ragluniaeth yn gymmaint ag un dyn erioed: canys o ddyn cyffredin efe a ddyrchafwyd i fod yn frenin: ac er ei amgylchynu gan ddeng mil o beryglon, efe a ddiangodd arnynt oll, ac a barhaodd ei fywyd i oedran tra hen. Ond am amgylchiad ei deulu yr ydoedd yn dra annedwyddol; er ei fod ef yn cyfrif ei hun yn ddedwydd wrth fod yn ailuog i ddarostwng ei elynion.

Ond Salome ac Alexas, cyn i farwolaeth y brenin fod yn adnabyddus, a ollyngasant ymaith y rhai a gauasid i fynu yn yr hippodrome; gan ddywedyd wrthynt fod y brenin yn erchi iddynt fyned i'w ffordd tua'n trigfannau eu hunain, a gofalu am eu hachosion cartrefol; yr hyn a olygwyd gan y genedl yn ffafr fawr. Ac yn awr gwnaethpwyd marwolaeth y brenin yn gyhoeddus; pan y darfu i Salome ac Alexas gasglu y milwyr ynghyd i'r chwerenfan cwmpasog yn Jericho. A'r peth cyntaf a wnaethant ydoedd darllen llythyr Herod at y milwyr; i ddiolch iddynt am eu ffyddlondeb a'u hewyllys da iddo ef: gan eu hannog i ddangos yr un ewyllysgarwch a ffyddlondeb i'w fab Archelaus, yr hwn a appwyntiasai i fod yn frenin arnynt. Ar ol hyn Ptolemy, yr hwn oedd ganddo sel y brenin wedi ei hymddiried iddo, a ddarllennodd ei ewyllys ef; yr hwn ni fyddai o ddim grym ond cyn belled ag y safai wedi ei brofiad gan Cæsar. Felly rhoddwyd bloedd allan yn ebrwydd gan y lliaws, fod Archelaus wedi ei wneuthur yn frenin. A'r milwyr a ddaethant yn finteioedd, a'u blaenoriaid gyd â hwynt; ac a addawsant yr un ewyllys da a pharodrwydd i'w wasanaethu ef, ag a ddangosasent i'w dad Herod: a gweddiasant ar i Dduw fod yn gynnorthwy iddo.

Ar ol i hyn fyned trosodd, hwy a ymbarottoisant i'r angladd; oblegid ei fod tan ofal Archelaus i drefnu'r hebryngfa at feddrod ei dad i fod yn dra mawrwych. Yn ganlynol efe a ddygodd allan ei holl addurniadau i wychu'r cynhebrwng. Y corph a ddygwyd ar elor aur, a gwniadwaith o feini gwerthfawr o amryw ddull; ac a orchuddiwyd â phorphor, yn gystal a'r corph ei hun. Gosodwyd coron-bleth hefyd ar ei ben, ac oddiarni goron aur, gyd â theyrn-

* Pan y crybwyllir yma fod Philip y tetrach, ac Archelaus y brenin neu ethnarch, yn wir frodyr; os yw 'r geiriau hyn yn meddwl am frodyr, wedi eu geni o'r un tad a mam, rhaid fod yma ryw gamgymmeriad: oblegid fod ganddynt yn wir yr un tad, sef Herod; ond gwahanol famau. Y cyntaf o Cleopatra; ac Archelaus o Malthace. Hwy yn wir a gyd-ddygwyd i fynu yn neillduedig yn Rhufain, megis cyfiawn frodyr. A philip oedd ddiyprwywr Archelaus, pan aeth i gael ei deyrnas wedi ei sierhau iddo yn Rhufain. Pen. ix. ac Am y Rhyf. II. 2. Yr hwn agorsrwydd i'w gilydd, ysgatfydd, yw 'r cwbl a feddyliodd Josephus wrth y geiriau o'u blaen.

† Y rhifedi hwn o flynyddoedd am deyrnasiad Herod, 34 a 37, ydynt yr un yn gymmwys â'r rhai hynny yn Hanes y Rhyf. I. 33, ac i'w weled yn mysg y rhai pennaf o hanesion amseryddiaeth perthynol i deyrnasiad, neu farwolaeth Herod.

wialen yn ei ddeheulaw. Ynghylch ei elor yr ydoedd ei feibion, a nifer mawr ei garennydd. Yn nesaf at y rhai'n yr ydoedd y milwyr, wedi eu gwahaniaethu yn ol eu hamryw wledydd a'u graddau. A hwy a drefnwyd yn y dull canlynol. Yn gyntaf oll ei warchawdlu a aethant o'r blaen; yna lluoedd y Thrasiaid; ac ar eu hol hwynt y Germaniaid; ac yna lluoedd y Galatiaid; pob rhai yn eu rhyfel-wisgoedd, yn yr un dull ag y byddent yn myned i ryfel, ac fel yr arferid eu gosod mewn trefn i fyned i frwydr, gan eu harweinwyr a'u canwriaid. Y rhai hyn a ddilynwyd gan bum cant o ddynion ei deulu, yn dwyn per-lysiau gyd â hwynt. Felly hwy a aethant wyth o 'stadau i Herodium: canys yno, wrth ei orchymmyn ei hun, yr ydoedd i gael ei gladdu.

Yn awr, Archelaus a ddangosodd gymmaint o barch, ac i barhau ei alar hyd y seithfed dydd: canys cynnifer o ddyddiau sydd yn appwyntiedig i hynny gan gyfraith ein tadau. Ac wedi gwledda'r lliaws, a gadael heibio ei alar, fe aeth i fynu i'r deml. Yr ydoedd llefau a moliannau yn cael ei wneuthur iddo hefyd i ba le bynnag y tröai; a phob un yn ymdrechu i ddangos y clodforedd mwyaf iddo. Felly fe esgynnodd i fynu i uchelfa a wnaethid yn bwrpasol iddo, ac a eisteddodd i lawr mewn gorsedd wneuthuredig o aur; ac a lefarodd yn garedig wrth y lliaws; gan dystio gyd â pha fath lawenydd yr oedd yn canfod eu hymddygiadau, a'r nodau o'u hewyllys da a ddangosent tu ag atto. Ac a ddychwelodd ddiolch am na chofient y niweid a wnaethai ei dad iddynt, er anfantais iddo ef. Gan addaw iddynt na fyddai yn hwyrfrydig i ad-dalu eu sirioldeb yn ei wasanaeth mewn modd addas. Ond yr ymarbedai yn bresennol oddiwrth yr enw o frenin, ac y derbyniai yr anrhydedd hwnnw, os byddai i Cæsar gadarnhau a sefydlu'r ewyllys a wnaethai ei dad: ac mai ar y cyfrif hwn, pan fynnai'r fyddin osod y goron-bleth ar ei ben yn Jericho, ni wnaethai dderbyniad o'r cyfryw anrhydedd, pa un yn arferol a chwennychir gymmaint; o herwydd nad amlygwyd etto y byddai i'r hyn ag oedd yn perthyn yn bennaf iddo ei chyfrannu, ei rhoddi iddo. Er trwy wneuthur o hono dderbyniad o'r llywodraeth, ni fyddai arno eisiau gallu i wobrwyo eu caredigrwydd iddo ef: ac mai ei ymdrech a fyddai, ym mhob peth a berthynai iddynt, i brofi, ar bob achos, yn well na'i dad. Ar hyn y lliaws, fel y mae'n arferol gyd â hwynt, a dybiasant fod dyddiau cyntaf y rhai a aent i mewn i'r fath lywodraethau, yn tystio bwriadau y rhai ai meddiannent: ac felly pa fwyaf tyner a thirion y llefarai Archelaus wrthynt, o gymmaint a hynny y canmolasant fwy arno ef; ac y gwnaethant eu deisyfiadau am yr hyn a geisient. Rhai a ddeisyfodd ar fod iddo esmwythau rhai o'u taliadau blynyddol: ond eraill a ofynnasant ganddo ryddhau y rhai a garcharwyd gan Herod, y rhai oeddynt lawer, ac a ddodasid ar amrywiol amserau yngharchar: tra'r oedd eraill yn erfyn arno symmud ymaith y trethoedd trymion a osodasai ar yr hyn a werthid ac a brynid yn gyhoeddus. Felly Archelaus ni wrthwynebodd hwynt mewn dim; gan ei fod yn cymmeryd arno i wneud pob peth yn y cyfryw fodd ag yr ennillai ewyllys da y lliaws tu ag atto: megis yn golygu'r ewyllys da hwnnw yn radd fawr tu ag at gadw meddiant o'r llywodraeth. Yn ganlynol efe a aeth ac a offrymmodd aberth; ac yna a eisteddodd i wledda gyd a'i gyfeillion.

## PENNOD IX.

*Am yr ymblaid a gyfodwyd yn erbyn Archelaus, a i fordaith i Rufain.*

AR yr amser hwn, rhai o'r Iuddewon a ymgasglasant oddiar ddymuniad i wneuthur adnewyddiad yn y llywodraeth. Gofidiasant o herwydd Matthias, a'r rhai a laddasid gyd ag ef, am dynnu i lawr yr eryr aur; y rhai ni thalasid un math o barch iddynt, trwy alar cyhoeddus, oddiar yr ofn ag oedd dynion ynddo oddiwrth Herod. Y bobl a wnaethant achwyniad a chwynfan mawr yn achos hyn; ac a fwriasant rai gwradwyddiadau allan o'i blegid ar y brenin; fel pe buasai hynny yn tueddu i esmwythâu trueni y rhai a fuont feirw. Y bobl hyn a ymgynhullodd ynghyd, ac a ddymunasant ar Archelaus, am fod iddo, mewn ffordd o ddial o'u plegid hwynt, osod cospedigaeth ar y rhai a anrhydeddid gan Herod: ac yn y lle cyntaf, fod iddo ymddifadu yr arch-offeiriad hwnnw a wnaethai Herod; ac appwyntio un mwy cyttunol a'r gyfraith, ac o fwy purdeb, i wasanaethu wrth yr allor. Hyn a ganiattaodd Arche-

laus, er anfoddloni o hono yn fawr wrth daerineb eu hymgais; o herwydd bwriadu o hono fyned i Rufain yn ddioed, i wybod am benderfyniad Cæsar ymherthynas iddo. Pa fodd bynnag, efe a ddanfonodd flaenor ei fyddinoedd i arfer perswadiad; ac i ddywedyd wrthynt, fod y farwolaeth a osodasid ar eu cyfeillion yn gyttun â'r gyfraith: ac i ddangos iddynt fod eu gofyniadau ynghylch y pethau hyn yn cael eu gwneuthur i raddau uchel o niweid iddo ef: nad oedd yr amser presennol yn gyfleus i'r fath betisiwnau; ond yn galw am gyd undeb, hyd oni sefydlid ef yn y llywodraeth trwy gydsyniad Cæsar, a dychwelyd o hono yn ol attynt. Oblegid y byddai iddo gydymgynghori â hwynt y pryd hynny yn gyffredin, ymherthynas i ddiben eu petisiwnau: ond mai eu dyledswydd yn bresennol oedd bod yn llonydd, rhag ymddangos o honynt yn ymbleidgar.

Wedi i'r brenin ddywedyd y pethau hyn, a hyfforddi ei gadflaenor yn y peth ag oedd i ymddiddan o'i herwydd, efe a'i danfonodd at y bobl. Ond hwy a wnaethant gri, ac ni roddent iddo gennad i lefaru, ac a'i dodasant mewn perygl am ei fywyd; a chynnifer eraill ag oedd yn ewyllysio anturio dywedyd rhyw beth yn gyhoeddus ag a'u tueddai i feddwl arafaidd, ac a ragflaenai eu mynediad rhagddynt yn eu presennol ymddygiad. O herwydd eu bod yn gofalu mwy am gyflawni eu hewyllysiau eu hunain, nag i roi ufudd-dod i'w llywiawdwyr: gan ei farnu yn beth annioddefol, tra'r oedd Herod yn fyw, i fod yn eu colied o'r rhai ag oedd yn annwylaf ganddynt: ac, pan oedd wedi marw, na allent gael poenwyr i wneud cospedigaeth arnynt. Felly aethant ym mlaen yn eu hamcanion mewn modd treisgar; gan dybied fod y cwbl yn gyfreithlon ag oedd yn tueddu i gyflawni eu hewyllysiau hwynt; trwy fod yn anneallus i ragweled y peryglon a dynnent arnynt eu hunain: a phan fyddent tan rai ammheuon am y cyfryw beth, etto'r oedd eu dymuniad presennol i gospi y rhai a gymmerent yn elynion mor fawr, nes oedd yn goruwch-bwyso y cyfryw ystyriaethau. Ac er darfod i Archelaus anfon llawer i lefaru wrthynt, etto hwy a'u triniasant, nid fel negeseuwyr a anfonasid ganddo ef, ond fel rhai a ddaethant o honynt eu hunain i lonyddu eu digter; ac ni adawent i un o honynt lefaru. Yr ymrysoniad hefyd a ddygwyd ymlaen gan rai ag ydoedd mewn gwylltineb: ac yr oedd yn amlwg eu bod yn myned ymlaen ymhellach mewn ymarferiadau terfysglyd, trwy fod y lliaws yn ymgyssylltu mor fuan â hwynt.

Yn awr, ar nesâd gwyl y bara croyw, yr hon a osodasai cyfraith eu tadau i'r Iuddewon ar yr amser hwn, yr hon ŵyl a elwir y pasg; ac sydd er coffadwriaeth am eu dyfodiad allan o'r Aipht; pan ofynnir ganddynt ladd ychwaneg o aberthau nag ar un ŵyl arall; a phan fyddo lliaws aneirif yn dyfod ynghyd o'r wlad; ïe, o'r tu hwnt i'w therfynau hefyd, mewn trefn i addoli Duw: yr ymrysonwyr oeddynt yn alarus am Judas a Matthias, y dysgawdwyr hynny o'r cyfreithiau: ac a gadwasant ynghyd yn y deml, a chanddynt luniaeth yn ddigonol; oblegid nad oedd y dynion ymrysongar hyn yn cywilyddio gofynelusen. Ac fel yr oedd Archelaus yn ofni rhag i ryw beth erchyll dyfu i fynu trwy ammhwylldra'r dynion hyn; efe a ddanfonodd fintai o wŷr arfog, a chyd a hwynt gadben ar fil, i ddarostwng treisgar ymdrechiadau y terfysgwyr, cyn i'r holl liaws gael eu llygru â'r un gwallgofrwydd: gan roddi 'r gorchymmyn hwn iddynt, os caent rai ymrysonwyr mwy cyhoedd na'u gilydd, ac yn brysurach mewn ymarferiadau terfysglyd, fod iddynt eu dwyn atto ef. Ond y rhai terfysglyd, trwy eu dysgawdwyr o'r gyfraith, a gynnyrfasant y bobl, ac a'u hannogasant i fyned ym mlaen â'u hamcanion. Felly hwy a ruthasant ar y milwyr; gan nesâu attynt a llabyddio y rhan fwyaf o honynt: eithr rhai o honynt a ddiangasant wedi eu harcholli, a'u cadben yn eu mysg hwynt. Ac wedi iddynt wneuthur hynny, hwy a ddychwelasant at yr aberthau oedd ganddynt yn llaw. Yn awr, Archelaus a feddyliodd nad oedd un ffordd i gadw'r llywodraeth ond trwy dorri ymaith y rhai a wnaethant yr ymosodiad yma i'w herbyn. Felly efe a ddanfonodd allan yr holl fyddin ar eu gwarthaf hwynt; gan ddodi'r gwŷr meirch i ragflaenu y rhai oedd â'u pebyll y tu allan i'r deml, i estyn cynnorthwy i'r rhai oeddynt oddi mewn; a lladd y rhai a redent ymaith oddiwrth y gwŷr traed, pan dybient eu hunain allan o berygl. Yn ganlynol, y gwŷr meirch a laddasant dair mil o ddynion, tra'r aeth y lleill ymaith i'r mynyddau

cymmydogaethol. Yna y gorchymmynodd Archelaus wneuthur cyhoeddiad iddynt oll, ar ddychwelyd o honynt bawb i'w cartrefi eu hunain. Felly hwy a aethant ymaith gan adael yr ŵyl, rhag ofn rhyw beth gwaeth a allai ganlyn, er darfod iddynt eisoes fod mor hyf o ddiffyg iawn hyfforddiad. Felly Archelaus a aeth i wared i'r môr, ynghyd a'i * fam; gan gymmeryd gyd ag ef Nicolaus a Ptolemy, ynghyd ag amryw eraill o'i gyfeillion: ac a adawodd ei frawd Phylip yn llywodraethwr ar y cwbl a berthynai i'w deulu ei hun, a'r achos cyffredin. Aeth allan gyd ag ef hefyd Salome, chwaer Herod, a'i phlant; a llawer o'i pherthynasau gyd â hi; pa rai, fel y dywedent hwy, oeddynt yn myned yn gynnorthwy i Archelaus i feddiannu'r deyrnas: ond mewn gwirionedd i'w wrthwynebu; ac yn bennaf i wneud achwynion cedyrn o'r hyn a wnaethai yn y deml. Ond Sabinus, goruchwyliwr Cæsar ar achosion Syria, fel yr oedd yn prysuro i Judea i gadw eiddo Herod, a gyfarfu âg Archelaus yn Cæsarea. Ond † Varus a ddaeth yr amser hwnnw, ac a'i rhwystrodd i gyffwrdd â hwynt: canys yr ydoedd efe yno megis wedi danfon am dano gan Archelaus, trwy'r moddion o Ptolemy. A Sabinus, oddiar ei barch i Varus, ni ymosododd ar un o'r castelli ym mysg yr Iuddewon, ac ni seliodd i fynu y trysorau oedd ynddynt; ond a ganiattaodd i Archelaus awdurdodi arnynt, hyd oni thystiai Cæsar ei ewyllys yn eu cylch hwynt. Felly, ar yr addewid hon, fe arhosodd etto yn Cæsarea. Ond wedi i Archelaus fordwyo i Rufain, ac ymsymmud o Varus i Antioch, Sabinus a aeth i Jerusalem, ac a gymmerodd feddiant o balas y brenin. Efe hefyd a ddanfonodd am geidwaid yr ymddiffynfeydd, ac am y rhai oll oedd olygwyr ar feddiannau Herod; ac a dystiodd yn gyhoeddus ei fod yn gofyn ganddynt gyfrif o'r hyn oedd tan eu gofal hwynt: ac efe a drefnodd fel y gwelai yn dda ymherthynas i'r castelli: ond y rhai oedd yn eu cadw ni esgeulusent yr hyn a orchymmynodd Archelaus iddynt: ond a barhasant i gadw pob peth yn y modd a archasid iddynt, tan esgus eu bod yn eu cadw oll megis tros Cæsar.

Ar yr un amser, Antipas, mab arall i Herod, a fordwyodd i Rufain, mewn trefn i gael meddiant o'r llywodraeth; wedi ei berswadio gan Salome y dylai efe ei meddiannu; a'i fod ef yn llawer gonestach a chymmwysach nac Archelaus i'r awdurdod honno; gan ddarfod i Herod yn ei ewyllys blaenorol ei gyfrif ef yn fwy teilwng o'i wneuthur yn frenin; yr hwn a ddylid ei olygu yn fwy safadwy na'i ewyllys diweddaraf. Antipas hefyd a ddygodd gyd ag ef ei fam, a Ptolemy brawd Nicolaus; un a fuasai'n gyfaill pennaf i Herod, ac ydoedd yn awr a'i sêl tros Antipas. Ond Ireneus yr areithiwr, gwr, ar gyfrif ei synwyroldeb, a ymddiriedid iddo am achosion y deyrnas, ydoedd yr hwn yn bennaf a'i hannogodd i anturio ynnill y deyrnas. Trwyddo ef y bu, pan gynghorai rhai ef i ymostwng i Archelaus, fel ei frawd hynaf, a'r hwn a dystiwyd yn frenin gan ei dad yn ei ewyllys diweddaf, ni fynnai ymostwng i hynny. Ac wedi ei ddyfod i Rufain, ei holl berthynasau a droisant atto ef; nid o ewyllys da iddo, ond o ran eu casineb at Archelaus: er yn wir eu bod yn bennaf yn dymuno rhyddid, a'u gosod tan lywiawdwr Rhufeinaidd. Ond os gwnaed gwrthwynebrwydd rhy gadarn i hynny, barnasant Antipas yn fwy dewisol nac Archelaus, ac a ymgyssylltasant âg ef mewn trefn i gael y deyrnas iddo. Sabinus hefyd trwy lythyrau a achwynodd ar Archelaus wrth Cæsar.

Yn awr, pan anfonasai yn ei bapurau at Cæsar, ym mha rai y dadleuodd ei hawl i'r deyrnas wrth ewyllys ei dad, gyd â chyfrif o feddiannau Herod, a chyd â Ptolemy, yr hwn a ddug sêl Herod, disgwyliodd am y canlyniad. Ond wedi i Cæsar ddarllen y papurau hyn, ynghyd â llythyrau Varus a Sabinus, gyd â chyfrif o'r arian, a pha faint oedd teyrnged flynyddol y deyrnas; a deall o hono fod Antipas hefyd wedi danfon llythyrau i haeru ei hawl i'r deyrnas; efe a alwodd ei gyfeillion ynghyd i wybod eu meddyliau; a chyd â hwynt Caius, mab Agrippa; a Julia ei ferch, yr hon a fabwysiadasai, gan wneud iddo ef eistedd yn uchaf o bawb: gan ddymuno i'r rhai a ddewisai ddywedyd eu meddyliau am y matterion yn awr o'u blaen.

Yn awr, Antipater mab Salome, areithydd tra hyawdl, a gelyn chwerw i Archelaus, a siaradodd yn gyntaf i'r perwyl hwn; gan ddywedyd, ei fod yn ynfydrwydd yn Archelaus i ddadleu yn awr am feddiant o'r deyrnas; gan ei

* Malthace.

† Rhaglaw Syria.

fod eisoes mewn gwirionedd wedi cymmeryd yr awdurdod arni iddo ei hun, cyn ei chaniattau iddo gan Cæsar; ymherthynas i'r hyn yr oedd yn appelio at ei weithred ryfygus yn difetha cynnifer o ddynion ar yr ŵyl Iuddewig. Ac os oeddynt wedi ymddwyn yn anghyngorol, nid oedd ond cymmwys i'r gospedigaeth gael ei harferyd at y rhai a ddaethant o'r wlad, os oedd awdurdod wedi ei roddi i hynny; ac nid ei wneud gan ddyn, yr hwn os honnai ei hun yn frenin, oedd yn gwneuthur niweid i Cæsar, trwy ryfygu cymmeryd iddo'r awdurdod honno cyn ei phenderfynu ganddo ef. Ond os addefai ei hun yn ddyn unigol, ei gyflwr ydoedd yn llawer gwaeth; tra'r oedd yn gosod i mewn ei hawl i'r deyrnas, ni allai mewn un modd ddisgwyl y llywodraeth honno i gael ei rhoi iddo, o'r hon yr oedd eisoes wedi difuddio Cæsar, trwy ei chymmeryd iddo ei hun. Efe a gyffyrddodd hefyd yn llym â'i waith yn newid blaenoriaid y fyddin, a'i eisteddiad yn yr orsedd frenhinol ym mlaen llaw; a'i benderfyniad o achosion cyfraith; y cwbl wedi ei gyflawni megis pe na byddai yn ddim arall ond brenin. Appeliodd hefyd at ei gydsyniad â'r rhai a wnelent eu deisyfiadau atto ar gyfrif pethau cyffredin; ac yn wir yn gwneuthur y cyfryw bethau, na'r hyn ni's gallai wneud mwy, pe buasai eisoes wedi ei sefydlu yn ei deyrnas. Efe hefyd a gyfrifodd iddo ef ei ryddhâd o'r carcharorion ag oedd yn yr Hippodrome; a llawer o bethau eraill a wnaethpwyd yn sicr ganddo, neu a gredid eu bod i'w gwneuthur, ac ydoedd yn hawdd meddwl eu gwneud, am eu bod o'r fath natur ag a arferid eu cyflawni gan ddynion ieuaingc, a chan y cyfryw rai ag, oddiar chwant llywodraethu, a ymaflant yn y llywodraeth yn rhy gynnar. Cyhuddodd ef hefyd o esgeulusdra yng ngalar claddedigaeth ei dad; ac o fod cyfarfodydd llawen ganddo y nos y bu farw; ac mai oddiwrth hynny y cynnyrfwyd y lliaws i godi terfysg. Ac os medrai Archelaus wneud y fath daliad yn ol a hyn i'w dad marw, yr hwn a adawsai y fath roddion iddo, a'r cyfryw bethau ar ei ol, trwy gymmeryd arno dywallt dagrau drosto y dydd hwnnw, fel un ar y chwareufwrdd; ond yn y nos yn gwneuthur yn llawen am ei fod wedi cael meddiant o'r llywodraeth; ymddangosai Archelaus yn gyffelyb ymherthynas i Cæsar, os caniattâi iddo'r deyrnas, ag a fuasai i'w dad; gan fod ganddo y pryd hynny ddawnsio a chanu, fel pe buasai gelyn iddo wedi darfod am dano; ac nid fel un a ddygid ymaith i'w gladdu o agos berthynas iddo, ac a fuasai iddo yn gymmwynaswr mor fawr. Ond dywedodd mai'r bai mwyaf o'r cwbl ydoedd, ei ddyfodiad yn awr o flaen Cæsar i gael meddiannu'r deyrnas gyd â'i gydsyniad ef, tra'r oedd o'r blaen wedi gweithredu ym mhob peth megis pe buasai yn lle Cæsar ei hun, sy'n llywodraethu'r cwbl, ac wedi ei sefydlu yn gadarn yn y frenhiniaeth. A'r hyn oedd yn ymhelaethu fwyaf arno yn ei ddadlyddiaeth ydoedd, ei laddiad o'r rhai o amgylch y deml; a'r drygioni o hono, megis wedi ei wneuthur ar yr ŵyl; a'r modd y lladdesid hwynt megis aberthau eu hunain; o'r sawl yr ydoedd rhai yn ddieithriaid, ac eraill o'u cenedl eu hunain, nes oedd y deml yn llawn o gyrph meirwon. A hyn i gyd a wnaethpwyd nid gan alltud, ond gan un ag oedd yn cymmeryd arno y titl cyfreithlon o frenin; fel y cyflawnai ei ormesrwydd drygionus yr hyn yr oedd ei natur yn ei gymmell iddo, a'r hyn a ffieiddir gan bob dynion. Ar ba gyfrif ni ddarfu ei dad gymmaint a breuddwydio am ei osod i deyrnasu ar ei ol, pan ydoedd o iawn bwyll, o herwydd ei fod yn deall ei dymmer ef: ac yn ei ewyllys mwy cadarn ac awdurdodol o'r blaen, efe a appwyntiodd ei wrthymdrechwr Antipas i gymmeryd arno'r llywodraeth: ond Archelaus a alwyd i'r sefyllfa dderchafedig honno pan ydoedd ym mron marw, yn gystal o ran ei gorph a'i feddwl; ac Antipas pan oedd yn iach, ac yn ei gyflawn synhwyrau; ac yn meddiannu'r fath rym corphorol a'i fod yn alluog i drefnu ei achosion ei hun. A phe buasai gan ei dad y cyffelyb feddyliau am dano gynt ag a ddangosodd yn ol hynny, etto fe roddasai Archelaus brawf digonol pa fath frenin oedd yn debyg o fod, pan ydoedd mewn effaith wedi difeddiannu Cæsar o'r awdurdod o drefnu'r deyrnas; ac ni ymarbedodd rhag gwneud lladdfa echryslon o'u gydddinasyddion yn y deml, pan nad oedd efe ond person unigol.

Wedi i Antipater wneud yr araith hon, a sicrhau yr hyn a ddywedodd, trwy ddwyn amryw dystiolaethau oddiwrth y pethau a berthynent i Archelaus ei hun, fe ddiweddodd ei dadleuon. Nicolaus yn ol hynny a gododd i fynu i ddadleu

tros Archelaus, ac a ddywedodd, fod yr hyn a wnaethid yn y deml i'w gyfrif yn hytrach i fyrbwylldra y rhai a laddwyd, nac i awdurdod Archelaus. Oblegid fod y rhai sy'n awdwyr y cyfryw bethau nid yn unig yn feius o herwydd y drygan a wnant eu hunain, ond trwy fod yn cymmell dynion difalais i wneuthur yr un pethau. Yn awr, y mae'n amlwg fod y weithred a wnaeth y rhai mewn ffordd o wrthwynebiad, wedi ei gwneuthur yn wir tan liw o anufudd-dod i Archelaus; ond mewn gwirionedd yr oeddynt yn anufuddhau i Cæsar ei hun. Canys hwynt-hwy, mewn modd rhyfygus a gwallgofus, a wrthsafasant ac a laddasant y rhai a ddanfonasai Archelaus, y rhai a ddaethent yn unig i roi attalfa ar eu drwg weithred: etto ni pharchent hwy Dduw, na'r ŵyl. "Etto Antipater," eb efe, "nid yw yn cywilyddio eu hamddiffyn hwynt: pa un bynnag ai ei fod trwy gynnwys gelyniaeth i Archelaus, neu oddiar ei gasineb i rinwedd a chyfiawnder. Canys am y rhai a ddechreuant y fath derfysgoedd, ac a ymosodant yn gyntaf ynghylch y cyfryw weithredoedd anghyfiawn; hwynt-hwy yw y rhai ag sy'n gwneud i'r sawl a'n cospant godi arfau yn eu herbyn, ïe yn wrthwyneb i'w hewyllys. Felly y mae Antipater, mewn effaith, yn cyfrif pethau eraill a wnaethpwyd, i'r holl rai hynny ag oedd o gyngor y cyhuddwyr. Canys dim a gyhuddir yma megis yn anghyfiawnder, a gafodd ei wneuthur; ond yr hyn a darddodd oddiwrthynt hwy megis ei awdwyr: ac nid yw'r pethau hyn yn ddrwg ynddynt eu hunain, ond a osodir felly allan yn unig mewn trefn i niweidio Archelaus. Y fath yw tuedd y dynion hyn i wneuthur drwg i un ag sydd o'i carennydd eu hunain, i gymmwynaswr eu tad, ac oedd yn dra hyspys o honynt, ac mewn cyfeillgarwch â hwynt yn wastadol. Oblegid am yr ewyllys yma, fe'i gwnaethpwyd gan y brenin pan oedd o feddwl synhwyrol a sicr; ac felly a ddylai fod o fwy awdurdod na'i ewyllys blaenorol: a hynny oblegid y rheswm hwn, o herwydd fod Cæsar wedi ei adael ynddo i fod yn farnwr ac yn drefnwr yr hyn oll a gynnwys. Ac am Cæsar, ni ddilyna ef yn sicr arferion y dynion hyn, y rhai yn oed holl amser Herod a ddarfu iddynt ar bob achosion fod yn gydgyfrannogwyr mewn awdurdod ag ef: ac etto yn awyddus a ymdrechant i wneud rhwystr i'w benderfyniadau, pan na fu ganddynt gyffelyb barch i'w carennydd ag oedd gan Archelaus. Ni fydd gan hynny i Cæsar ddiddymmu testament gwr ag oedd yn ei gynnal yn hollol; ei gyfaill a'i gyngreirwr; a'r hyn a roddasai i'w gadarnhau atto ef. Ac ni fydd i duedd uniawn a rhinweddol Cæsar, yr hon a adwaenir megis yn anghydmarol trwy'r byd cyfannedd ol, ddilyn anwireddus ymddygiad y dynion hyn, trwy feio ar frenin megis un yn ddiffygiol o reswm; pan adawodd un daionus o'i feibion i'w ddilyn yn y llywodraeth; ac i un ag sy'n ffoi at uniawn ddedryd Cæsar am noddfa. Ac ni allai Herod ar un pryd fod wedi camsynied yn ei feddwl ynghylch ei ddilynwr, pan ddangosodd gymmaint o bwyll ag i ymostwng y cwbl i farn Cæsar."

Wedi i Nicolaus osod y pethau hyn o flaen Cæsar, efe a ddiweddodd ei ddadleuon. Ar yr hyn yr oedd Cæsar mor garedig i Archelaus, ag y cododd ef i fynu, wedi iddo fwrw ei hun wrth ei draed: ac a ddywedodd ei fod yn iawn haeddu 'r deyrnas. Ac efe a adawodd iddynt wybod yn fuan, ei fod wedi ei dueddu mor bell yn ei ffafr ef, na allai wneuthur mewn modd amgen na'r hyn oedd ei dad wedi ei bennu, ac oedd er mantais Archelaus. Pa fodd bynnag, tra'r oedd yn rhoddi'r annogaeth hon i Archelaus, i ymddibynnu yn hyderus arno ef, ni wnaeth gyflawn benderfyniad yn ei gylch. Ac wedi i'r dyrfa roddi i fynu, efe a ystyriodd wrtho ei hun, pa un a wnai ganiattád o'r deyrnas i Archelaus, neu ei rhannu rhwng hiliogaeth Herod; oblegid eu bod oll yn sefyll mewn diffyg o gynnorthwy i'w cynnal hwynt.

## PENNOD X.

*Am ymrysoniad a godwyd gan yr Iuddewon yn erbyn Sabinus; a chospedigaeth y blaenoriaid.*

CYN i'r pethau hyn gael eu dwyn i sefydliad, Malthace, mam Archelaus, a syrthiodd mewn clefyd, ac a fu farw. A llythyrau a ddaeth oddiwrth Varus, rhaglaw Syria, yn hyspysu i Cæsar am derfysg ym mysg yr Iuddewon. Canys wedi i Archelaus fyned i'w for daith, yr holl genedl ydoedd mewn cythrwfl. Felly Varus, gan ei fod yno ei hun, a ddygodd awdwyr yr aflonyddwch i gospedigaeth. Ac wedi eu hattal mewn rhan rhag myned ym mlaen yn yr

ymryson hwn, pa un ydoedd fawr, efe a gymmerodd ei daith ymaith i Antioch, wedi gadael un lleng o'i fyddin yn Jerusalem, i gadw'r Iuddewon mewn llonyddwch, y rhai yn awr oeddynt yn dra awchus i adnewyddiad llywodraeth. Etto ni thycciodd hyn i ddodi terfyn ar yr ymryson hwnnw. Canys ar ol i Varus fyned ymaith, Sabinus, dirprwywr Cæsar, a arhosodd ar ol, ac a gystuddiodd yr Iuddewon yn fawr; gan ymddiried i'r byddinoedd a adawsid yno, y byddai iddynt ei amddiffyn ar gyfrif eu lliosogrwydd. Canys efe a'u barfogodd megis ei warchawdlu, a thrwy hynny a orthrymmodd yr Iuddewon, gan beri'r fath gyfyngder arnynt, fel y torrasant allan o'r diwedd i wrthryfela. Canys efe a ddefnyddiodd ei filwyr i oresgyn y tyrau, ac a wasgodd ym mlaen gyd â diwydrwydd i chwilio am drysorau'r brenin, mewn trefn i'w meddiannu trwy drais; o herwydd ei serch at elw, a'i gybydd-dod rhagorol.

Ond ar nesâd y pentecost, yr hon sydd ŵyl o'r eiddom ni, a elwid felly er dyddiau ein hynafiaid; amryw filoedd o bobl a ymgasglasant ynghyd. Ac ni ddaethant yn unig i gynnal yr ŵyl, ond ar gyfrif eu digter wrth gynddeiriogrwydd Sabinus, a'r cam yr oedd yn ei wneuthur â hwynt. A nifer mawr o honynt ydoedd Galileaid ac Idumeaid; a llawer o wŷr o Jericho, ac eraill a ddaethent tros yr Iorddonen, ac oedd yn preswylio'r parthau hynny. Yr holl liaws hyn a ymgyssylltasant â'r lleill i gyd, ac a oeddynt yn fwy awyddus i wneud ymosodiad ar Sabinus, i'r diben o ddial arno ef. Felly hwy a rannasant eu hunain yn dair byddin, ac a wersyllasant yn y mannau canlynol. Rhai o honynt a oresgynasant yr Hippodrome: ac o'r ddwy fintai eraill, un a wersyllodd o du gogleddol hyd y rhan ddeheuol o'r deml: ond y drydedd fintai a wyliasant ran orllewinol y ddinas, lle'r oedd palas y brenin yn sefyll. Eu gwaith ydoedd yn unig i warchae ar y Rhufeiniaid, a'u cylchynu ar bob tu. Yn awr Sabinus a ofnodd nifer y gwŷr hyn, a'u calondid; y rhai ni ofalent ond ychydig am ei bywydau: eithr a oeddynt yn dra hyderus na orchfygid hwynt; pan oeddynt yn ei dybied yn orchwyl angenrheidiol i ddarostwng eu gelynion: felly yn union gyrch fe ddanfonodd lythyr at Varus; ac, megis yr oedd arferol, bu yn daer arno, ac a erfyniodd am ei gynnorthwy gyd â brys; o herwydd fod y fyddin a adawsai ar ol yn y perygl mwyaf; ac, ysgatfydd, ym mhen ychydig, y byddai wedi ei llwyr ddifetha. Efe a aeth ei hun i fynu i dŵr Phasaelus, a adeiladasai Herod er coffadwriaeth am ei frawd, yr hwn a ddygasid i farwolaeth yno gan y Parthiaid. Felly Sabinus a roddes arwydd oddiyno i'r Rhufeiniaid i syrthio ar yr Iuddewon, er na anturiodd ei hun gymmaint a dyfod i wared at ei gyfeillion; ac a feddyliodd y gallai ddisgwyl i eraill beryglu eu bywydau yn gyntaf, ar gyfrif ei gybydd-dra. Pa fodd bynnag, y Rhufeiniaid a anturiodd ruthro allan o'r lle, a brwydr ddychrynllyd a ganlynodd: ym mha un, er i'r Rhufeiniaid orthrechu eu gelynion, etto ni pheidiai'r Iuddewon a'u hymgais, ïe ar yr olwg o'r galanasdra arswydus a wnaethid yn eu mysg: ond hwy a aethant o amgylch-ogylch, ac a ddringasant ar yr ystafelldai oedd o gwmpas y deml; yno ymladdfa wrthnysig a barhaodd drachefn; a hwy a ergydiasant gerrig at y Rhufeiniaid, weithiau â'u dwylaw, ac mewn rhan â'u ffyn-tafl, megis wedi eu haddysgu yn fynych i'r ymarferiadau hyn. Yr holl saethyddion hefyd, wedi eu dodi mewn trefn a wnaethant niweid mawr i'r Rhufeiniaid; o herwydd yr arferent eu dwylaw gyd â chyflymdra, ac oddiar le anfanteisiol i'r lleill: ac o herwydd fod y lleill yn eu colled o wybod pa beth i'w wneuthur: canys pan gynnygient ollwng eu saethau i fynu at yr Iuddewon, ni chyrhaeddent hwynt; fel ag y bu trwy hyn yr Iuddewon yn rhy galed i'w gelynion. Y dull hwn o ymladd a barhaodd amser hir; nes o'r diwedd i'r Rhufeiniaid, y rhai a flinwyd yn fawr â'r hyn a wnaethpwyd, osod yr ystafelldai yn ddirgel ar dân, fel na ddarfu i'r rhai oedd ar eu pennau eu canfod hwynt. Y * tân hwn wrth ei borthi gan lawer o ddefnyddiau hylosg, a gymmerodd afael yn union-gyrch ar gronglwyd yr ystafelldai. Felly y coed, y rhai ydoedd lawn o bŷg a chŵyr, a'r aur a gydiasid â hwynt â chŵyr, a ymroddodd i'r fflam yn ebrwydd: a'r adeiladau helaeth yma, ag ydoedd o fwyaf gwerth a pharch, a ddifethwyd yn ddioed, tra yn annisgwyliadwy y difa-

* Y dinystriad mawr hwn a wnaethpwyd o amgylch y deml, a grybwyllir yma, ac yn Hanes y Rhyf. II. 3, a ymddengys fod heb ei gyflawn adgyweirio hyd ddyddiau Nero; hyd amser pa un yr ydoedd 1,000 o weithwyr yn wastadol yn cael eu defnyddio i ail-adeiladu ac adnewyddu y deml honno, fel yr hyspysa Josephus i ni, XX. 9. Gwel y nod ar y lle hwnnw.

wyd y rhai oedd ar eu pennau yr un pryd: canys fel ag y treiglodd y gronglwyd i lawr, rhai o'r dynion a safent arni a dreiglasant gyd â hi, ac eraill o honynt a laddwyd gan eu gelynion oedd yn eu hamgylchynu hwynt. Yr ydoedd nifer mawr yn rhagor, y rhai oddiwrth anobaith i achub eu hunain, a thrwy syndod oblegid y trueni a'u hamgylchai hwynt, y rhai a ddarfu iddynt un ai ymollwng eu hunain i'r tân, neu a syrthiasai ar eu cleddyfau, ac felly y buont feirw. Ond am y rhai a giliasant y tu cefn yr un ffordd ag yr esgynasant yno, ac wrth hynny a ddiangasent, hwy a laddwyd oll gan y Rhufeiniaid, megis yr oeddynt yn anarfog, au cefnogrwydd wedi eu gadael hwynt. Eu llidiogrwydd taullyd ydoedd yn analluog i'w hachub hwynt, o herwydd eu bod yn ymddifad o arfogaeth: yn gymmaint ag na bu i un o'r rhai a aethant i fynu ar nen y tŷ allu diangc. Y Rhufeiniaid hefyd a ruthrasant trwy'r tân, lle y gwnai ffordd iddynt i hynny; ac a ymosodasant ar y drysorfa lle'r oedd eu harian cyssegredig yn gorwedd; a rhan fawr o ba rai a ddygwyd ymaith gan y milwyr; a Sabinus a gafodd yn agored bedwar cant o dalentau.

Ond y distryw hwn ar gyfeillion yr Iuddewon, y rhai a syrthiasant yn y frwydr a'u blinodd hwynt; megis hefyd y darfu i yspeiliad yr arian a gyssegrasid i Dduw yn y deml. Yn ganlynol, y corph hwnnw o honynt a gadwasant ynghyd yn fwyaf trefnus, ac ydoedd fwyaf milwraidd, a amgylchasant y palas, ac a fygwthiasant ei osod ar dân, a lladd y rhai oll ag oedd ynddo. Etto er hynny gorchymmynasant iddynt oll fyned yn ebrwydd allan; gan addaw os gwnaent hynny na pharant niweid iddynt, nag i Sabinus 'chwaith. Ar yr amser hwn y rhan fwyaf o filwyr y brenin a giliasant attynt; pan ddarfu i Rufus a Gratus, y rhai oedd ganddynt dair mil o filwyr dewraf ym myddin Herod gyd â hwynt, y rhai oedd wŷr o gorpholaeth bywiog, fyned trosodd at y Rhufeiniaid. Yr ydoedd hefyd lu o wŷr meirch tan orchymmyn Rufus, y rhai a ymgyssylltasant â'r Rhufeinwyr. Pa fodd bynnag yr Iuddewon a aethant ym mlaen â'u cynllwyn; ac a gloddiasant dyllau tan furiau 'r palas: ac a geisiasant gan y rhai a aethent trosodd i'r ochr arall i beidio a bod yn rhwystr iddynt, gan fod ganddynt yn awr y fath gyfleusdra i adferyd rhyddid hynafiaethol eu gwlad: a Sabinus oedd yn ewyllysio myned ymaith gyd â'i filwyr; ond ni allai ymddiried ei hun i'w elyn, o herwydd y drygau yr oedd eisoes wedi ei wneuthur iddynt: ac efe a gymmerodd eu hesmwythâd ffuantus hwn fel rheswm paham na chydsyniai â hwynt: ac fel yr oedd yn disgwyl am ddyfodiad Varus, efe etto a oddefodd y cynllwyn.

Yn awr ar yr amser hwn yr ydoedd deng mil o flinderau eraill yn Judea, cyffelyb i derfysgoedd; o herwydd i nifer mawr ymroddi eu hunain i agwedd ryfelgar; un ai o obaith am elw iddynt eu hunain; neu oddiar elyniaeth i'r Iuddewon. Yn enwedig dwy fil o hen filwyr Herod, y rhai eisoes a ddiswyddasid, a ymgasglasant ynghyd, ac a ymladdasant yn erbyn lluoedd y brenin; er darfod i Achtabus, cefnder Herod, eu gwrthwynebu hwynt. Ond fel yr ymlidiwyd ef o'r gwastadedd i'r parthau mwyaf mynyddig, trwy ddyfais filwraidd y gwŷr hyn, efe a gadwodd ei hunan yn y lleoedd cedyrn oedd yno, gan achub yr hyn a allai.

Yr ydoedd hefyd * Judas, mab yr Ezecias hwnnw a fuasai yn bennaeth yr yspeilwyr; yr hwn Ezecias ydoedd ddyn tra nerthol, ac a ddaliesid trwy anhawstra gan Herod. Y Judas hwn wedi cael lliaws o ddynion anfad ynghyd, o gylch Sepphoris yn Galilea, a wnaeth ymosodiad ar y palas yno; a chymmerasant feddiant o'r arfau a osodasid i fynu ynddo; ac â hwy efe a arfogodd bob un ag oedd gyd ag ef; ac a ddug ymaith pa ryw arian a adawsid o'i fewn. Ac efe a aeth yn ddychryn i bawb, trwy rwygo a dryllio y rhai a ddeuai'n agos atto; a hyn i gyd mewn trefn i'w fawrhau ei hun, ac o awydd i dderchafiad brenhinol. Ac efe a obeithiodd fwynhau hynny fel gwobr, nid i'w gywreinrwydd mewn rhyfel, ond ei afradlonedd yn drygu, ac

* Oddieithr i'r Judas hwn, mab Ezecias, fod yr un a'r Theudas hwnnw a grybwyllir Act. v. 36, rhaid fod Josephus wedi ei adael ar ol. Canys y Theudas arall a sonir ganddo ef am dano yn ol hynny, tan yr enw Fadus, y llywydd Rhufeinaidd, XX. 5, sydd yn llawer rhy ddiweddar i gyfatteb iddo ef a grybwyllir yn yr Actau. Nid yw 'r enwau Thudas, Thadeus, a Judas yn gwahaniaethu ond ychydig. Gwel Hanes yr archesgob Usher am oed y byd 4001. Pa fodd bynnag, gan nad yw Josephus yn cymmeryd arno gyfrif i fynu y pennau o'r holl ddeng mil o flinderau hyn yn Judea, y rhai a ddywed i ni fod eisoes ar led, y Theudas yn yr Actau a allai fod yn ben ar un o'r ymbleidiau hyn, er na enwid yn neillduol ganddo ef. Fel hyn y mae yn hyspysu i ni yma, ac yn Hanes y Rhyf. II. 4. ddarfod i rai o'r ymbleidwyr ddyfod a llosgi y palas brenhinol yn Amathus, neu Betharamphta, ar afon yr Iorddonen. Ysgatfydd eu blaenor pa un ni enwir yma, a allai fod y Theudas hwn.

yn niweidio rhai oi amgylch.

Yr ydoedd Simon hefyd, yr hwn a fuasai gaeth-was i Herod y brenin; ond mewn ystyr arall, yn ddyn o gorph hardd, yn uchel a nerthol: yr ydoedd yn un ag oedd yn rhagori ym mhell ar eraill o ran ei agwedd corphorol, a chanddo bethau mawr wedi eu rhoddi tan ei ofal. Y dyn hwn a ymdderchafodd yn ei feddyliau wrth annhrefu pethau y pryd hwnnw, ac ydoedd mor hŷ â gwisgo coron-bleth ar ei ben; tra'r oedd lliaws o'r bobl yn sefyll yn ei ymyl, ac yn ei gyhoeddi yn frenin; ac efe a dybiodd ei hun yn fwy teilwng o'r anrhydedd hwnnw na neb arall. Efe a losgodd i'r llawr y palas brenhinol yn Jericho, gan anrheithio'r hyn a adawsid ynddo. Efe hefyd a osododd ar dân amryw eraill o'r tai brenhinol, y'ngwahanol rannau'r wlad, gan eu llwyr ddifrodi hwynt; a chaniattaodd i'r rhai oedd gyd ag ef i gymmeryd yr hyn oedd wedi ei adael ynddynt yn ysglyfaeth. Ac efe a wnaethai bethau mwy, pe na chymmerasid gofal i'w ddarostwng yn ddioed. Canys Gratus wedi ymgyssylltu ei hun â rhai milwyr Rhufeinig, a gymmerodd y byddinoedd oedd gyd ag ef, ac a gyfarfyddodd â Simon: ac ar ol ymladdiad gwrthnyssig, rhan nid bychan o'r rhai a ddaethant o Perea, y rhai oeddynt yn afreolaidd, ac a ymladdasant yn hytrach yn hyfion nac yn fedrus, a ddifethwyd. Ac er achub o Simon ei hun wrth ddiangc trwy ryw ddyffryn, etto Gratus a'i goddiweddodd, ac a dorrodd ymaith ei ben. Y palas brenhinol hefyd yn Amathus, wrth afon yr Iorddonen, a losgwyd gan nifer o ddynion a ymgasglasai ynghyd, megis rhai a berthynent i Simon. A'r modd yma y darfu i gynddaredd gwyllt ymdaenu ei hun tros yr holl genedl, o herwydd nad oedd brenin arnynt i'w cadw tan lywodraeth: ac o herwydd i'r dieithriaid, a ddaethai o wledydd eraill, i drefnu y rhai ymrysongar, yn y gwrthwyneb eu gwneud yn fwy ymrafaelgar, o herwydd y niweid a wnaed iddynt, a threfniad cybyddlyd eu hachosion.

Un Athronges hefyd, dyn a'i nad oedd yn enwog o ran graddau ei hynafiaid; nac o herwydd i cyfoeth ei feddiannau; ond a fuasai yn fugail yn unig, ac ni adwaenid mo'no gan neb; etto o herwydd ei fod yn ddyn o dyfiant mawr, yn uchel o gorpholaeth, ac yn rhagori ar eraill yn nerth ei ddwylaw, bu mor hyf a gosod ei hun i fynu i fod yn frenin. Y dyn hwn a feddyliodd ei fod yn beth dymunol i wneuthur rhyw niweid mwy na chyffrediu; ac os cai efe ei ladd, nid oedd yn gofalu llawer os collai ei fywyd yn y fath antur. Yr oedd iddo hefyd bump o frodyr, y rhai oeddynt ddynion o daldra mawr eu hunain, ac a gyfrifid yn rhagori ar eraill ynghyfnerthwch eu dwylaw; a thrwy hynny a annogwyd i ddisgwyl rhyw bethau mawrion; gan feddwl y byddai i'w nerth rhagorol eu galluogi i gynnal y llywodraeth. Pob un o'r rhai hyn a flaenorent ar fyddin o wŷr eu hunain; canys y rhai a ymgyssylltent â hwy oeddynt yn dra lliosog Yr oeddynt bob un o honynt yn gadflaenoriaid. Ond pan ddeuent i frwydr yr oeddynt yn ddarostyngol iddo ef, ac yn ymladd trosto: Tra'r oedd yn dodi coron-bleth o amgylch ei ben, ac yn casglu cyngor ynghyd i ymresymmu ynghylch y peth ag oedd oreu i'w wneuthur; gwnaethpwyd y cwbl yn ol ei ddarluniad ef. A'r gwr hwn a gynnaliodd ei awdurdod tros hir amser; yr hwn a alwyd hefyd yn frenin; ac nid oedd ganddo ddim i'w luddias rhag gwneuthur y peth a ddewisai. Efe hefyd, yn gystal a'i frodyr, a laddodd lawer o'r Rhufeiniaid, ac o luoedd y brenin; ac a drefnodd bob matterion gyd â chyffelyb gasineb i'r naill ac i'r llall. Syrthiasant ar fyddinoedd y brenin, ar gyfrif yr ymddygiad rhyfygus a oddefid iddynt tan lywodraeth Herod: a chwympasant ar y Rhufeiniaid, o herwydd y niweid a wnaethent yn ddiweddar iddynt. Ond mewn amser hwy a dyfasant yn fwy creulon at bob math o ddynion. Ac ni allai neb ddiangc oddiar y naill neu'r llall o'r ymbleidiau hyn: gan eu bod yn lladd rhai mewn gobaith o gael cyfoeth trwy hynny; ac eraill i ddilyn yr arferiad o ladd dynion. Goddiweddasant unwaith gwmp'ni o Rufeinwyr yn Emmaus, y rhai oedd yn dwyn ŷd ac arfau i'r fyddin; ac a syrthiasant ar Arius y canwriad, oedd yn olygwr arnynt; gan saethu deugain o'i filwyr traed goreu; ond y rhan arall a ddychrynasant wrth y lladdfa, ac a adawsant eu meirw ar ol; ond a achubasant eu hunain trwy amddiffyniad Gratus, yr hwn a ddaeth gyd â lluoedd y brenin ag ydoedd o'i amgylch yn gynnorth iddynt. Yn awr, y pedwar brodyr hyn a gynnaliasant y rhyfel tros hir amser, trwy r

cyffelyb ymgyrch ac ymosodiadau, gan flino y Rhufeiniaid; ac a wnaethant lawer o golledion i'w cenedl eu hunain. Etto yn ol hynny hwy a ddarostyngwyd. Un o honynt mewn brwydr â Gratus; y llall â Ptolemy. Archelaus hefyd a gymmerodd yr hynaf yn garcharor; tra'r oedd y diweddaf o honynt wedi digalonni wrth weled aflwyddiant y lleill, ac yn canfod yn eglur nad oedd un ffordd wedi ei gadael iddo i achub ei hun, gan fod ei fyddin yn diflannu trwy afiechyd a llafur gwastadol, fel y traddododd ei hun i Archelaus, ar ei addewid a'i lw y byddai iddo achub ei fywyd. Ond hyn a ddaeth o amgylch ym mhen ennyd o amser ar ol hynny.

Ac yn awr Judea ydoedd lawn o yspeilwyr: ac fel y gallai minteioedd yr yspeilwyr berswadio rhyw un i fod yn ben arnynt, efe a elwid yn frenin yn ebrwydd, mewn trefn i wneud drygau i'r cyffredin. Yr oeddynt mewn rhyw fesur bychan yn wir yn niweidiol i'r Rhufeiniaid; ond y llofruddiad yr oeddynt yn ei wneuthur ar eu pobl eu hunain a barhaodd tros hir amser.

Cyn gynted ag y gwnaethpwyd Varus yn hyspys o amgylchiad Judea, trwy i Sabinus ysgrifennu atto ef, yr ydoedd yn ofni am y lleng o filwyr a adawsai yno. Felly fe gymmerodd y ddwy leng eraill, (canys yr oedd tair lleng o honynt yn perthyn i Syria,) a phedwar llu o wŷr meirch, gyd â'r amrywiol luoedd cynnorthwyol a roddai rhai brenhinoedd, neu'r tetrarciaid atto ef: ac a wnaeth y brys mwyaf a fedrai i gynnorthwyo y rhai oedd wedi gwarchae arnynt y pryd hwnnw yn Judea. Rhoddodd hefyd orchymmyn a'r fod i'r rhai a ddanfonid allan i'r ymgyrch hwn brysuro i Ptolemais. Dinasyddion Berytus a roddasant iddo fil a hanner o gynnorthwyon, fel ag yr oedd yn myned trwy eu dinas hwynt. Aretas hefyd, brenin Arabia Petrea, oddiar ei gasineb gynt i Herod, ac mewn trefn i gael ffafr y Rhufeiniaid, a ddanfonodd gynnorthwy nid ychydig iddo, heblaw eu gwŷr traed a'u gwŷr meirch. Ac wedi casglu ei holl fyddinoedd ynghyd, rhoddodd ran o honynt tan ofal ei fab, a than gyfaill iddo, ac a'u danfonodd mewn ymgyrch i Galilea, yr hon sy'n gorwedd ynghymmydogaeth Ptolemais. Yn ganlynol hwy a ymosodasant ar y gelyn, ac a'u dodasant i ffoi; gan oresgyn Sepphoris, a gwneud ei phreswylwyr yn gaeth-weision, a dodi'r ddinas ar dân. Ond Varus ei hun a aeth yn mlaen yn ei daith tu a Samaria, gyd â'i holl fyddin: etto ni chyffyrddodd efe â'r ddinas o'r enw hwnnw; o herwydd na ymgyssylltasai â'r rhai pleidgar; ond a wersyllodd mewn rhyw bentref perthynol i Ptolemy; enw pa un oedd Arus; yr hon a losgasai'r Arabiaid o'u casineb i Herod, ac oddiar y gelyniaeth oedd ganddynt i'w gyfeillion. Oddiyno'r aethant i bentref arall a elwid Sampho, yr hon a yspeiliodd ac a losgodd yr Arabiaid, er ei fod yn lle o gadernid, ac yn amddiffynfa. A thrwy'r holl daith hon ni ddiangodd dim rhagddynt; ond pob lle ydoedd lawn o dân, ac o laddedigion. Emmaus hefyd a losgwyd trwy orchymmyn Varus, yn ol i'w thrigolion fyned o honi; fel y dialai y rhai a ddifethwyd yno ar y lle hwnnw. Oddiyno fe aeth rhagddo i Jerusalem; ar hyn yr Iuddewon oedd yn gwersyllu yno, a'r rhai a gynllwynasant y lleng Rufeinaidd, heb glywed am ddyfodiad ei fyddin, a adawsant y cynllwyn yn ammherffaith. Ond am Iuddewon Jerusalem pan waradwyddwyd hwynt yn llym gan Varus am yr hyn a wnaethent, hwy a amddiffynasant eu hunain oddiwrth y cyhuddiad; ac a ddywedasant, fod y cyflawnder o ddynion a fuasent yno, wedi i'r ŵyl fod yn achos o hono; ac na ddigwyddasai y rhyfel trwy eu cydsyniad hwy, ond trwy annoeth fyrbwylldra dieithriaid; tra'r oeddynt hwy o ochr y Rhufeiniaid, ac yn cyd-gynllwyn â hwynt yn hytrach na gosod cynllwyn yn eu herbyn. Daeth i gyfarfod hefyd â Varus yn mlaenllaw, Joseph, cefnder Herod; ac hefyd Gratus a Rufus; y rhai a ddygasent eu milwyr gyd â hwynt, ynghyd â'r Rhufeiniaid a gynllwynasid. Ond ni ddaeth Sabinus i olwg Varus, ond a ledrattaodd ymaith yn ddirgel o'r ddinas, ac a aeth i lan y môr.

Ar hyn Varus a ddanfonodd blaid o'i fyddin i'r wlad, i chwilio am y rhai a fuasai yn awdwyr y gwrthryfel: ac wedi eu dwyn i'r amlwg, efe a gospodd rai o honynt a gafwyd yn fwyaf euog, a rhai a ollyngodd ymaith. Yn awr, rhifedi y rhai a groeshoeliwyd ar yr achos hwn oedd ddwy fil. Ar ol hynny efe a ddiswyddodd y fyddin, yr hon ni phrofodd o ddefnydd mewn un modd yn yr achos y daethai efe o'i herwydd. Canys hwy a ymddygent eu hunain yn dra afreolaidd, ac a anufuddhaent i'w orchymynion, oddiar

awydd i'r elw a ddeuent o hyd iddo trwy'r drygau a wnaethant. Am dano ei hun, wedi clywed fod deng mil o'r Iuddewon wedi ymgynnull ynghyd, efe a wnaethai frys i ddyfod i'w dal hwynt. Ond nid aethant hwy mor bell ag i ymladd ag ef: ond wrth annogaeth Achiabus hwy a ddaethant ynghyd, ac a roddasant eu hunain i fynu iddo ef. Ar hyn Varus a faddeuodd y bai o wrthgiliad i'r lliaws; ond a ddanfonodd eu hamrywiol flaenoriaid at Cæsar. Llawer o'r rhai hyn a ollyngodd Cæsar ymaith: ond am berthynasau Herod, y rhai a fuasai ym mysg y dynion hyn yn y gwrthryfel, hwynt-hwy oeddynt yr unig bersonau a gospodd; y rhai, heb y parch lleiaf i gyfiawnder, a ymladdasent yn erbyn eu carennydd eu hunain.

## PENNOD XI.

*Am gennadwriaeth yr Iuddewon at Cæsar; ac am gadarnhad ewyllys diweddaf Herod.*

WEDI i Varus derfynu'r achosion hyn, a sefydlu y lleng flaenorol o filwyr yn Jerusalem, efe a ddychwelodd i Antioch. Ond am Archelaus, daeth iddo achosion newydd o flinder yn Rhufain, trwy'r achlysur canlynol. Canys cennadwriaeth o Iuddewon a ddaethant i Rufain; a Varus a gydsyniasai i'w danfon hwynt; fel y gwnaent ddeisyfiad am ryddid i fyw yn ol eu cyfreithiau eu hunain. Yn awr, rhifedi y cennadwyr a ddanfonwyd trwy awdurdod y genhedlaeth oeddynt ddeg a deugain; â'r rhai y cyssylltasant uwchlaw wyth mil o Iuddewon eraill, ag oedd yn byw eisoes yn Rhufain. Ar yr achos hwn Cæsar a alwodd ynghyd ei gyfeillion, a'r rhai pennaf ym mysg y Rhufeiniaid yn nheml Apollo, yr hon a adeiladasai ar draul mawr. Yno y cennadwyr a ddaethant, a lliaws yr Iuddewon ag ydoedd eisoes gyd â hwynt: megis hefyd y daeth Archelaus a'i gyfeillion. Ond am yr amrywiol garennydd oedd gan Archelaus, ni ymgyssylltent hwy âg ef o herwydd eu casineb tu ag atto; ac etto meddyliasant ei fod yn beth rhy anferth i gyttuno â'r cennadwyr oedd i'w erbyn; gan farnu y parai hynny iddynt anglod yngolwg Cæsar i ymddwyn y modd hwn, yn wrthwyneb i ddyn o'u cenedl eu hunain. Philip hefyd a ddaethai yno o Syria, trwy berswadiad Varus, gyd â'r prif amcan yma o gynnorthwyo ei frawd; canys Varus oedd yn gyfaill mawr iddo. Ond etto felly, fel os byddai ddim cyfnewidiad yn ffurf y llywodraeth, yr hyn a ddychymmygwyd a fyddai gan Varus; ac os byddai i ryw ddosparthiad gael ei wneuthur, ar gyfrif y nifeiri oedd yn ewyllysio y rhyddid o gael byw yn ol eu cyfreithiau eu hunain; fel na siommid ef, ond y derbyniai ran ynddo.

Yn awr ar y caniattâd a roddwyd i'r cennadwyr Iuddewig i lefaru, y rhai a obeithiasant am ryddhad oddiwrth y llywodraeth freuhinol; hwy a ddechreuasant achwyn ar gamwedd Herod; gan dystio ei fod yn wir yn enw brenin, ond ei fod wedi cymmeryd iddo ei hun awdurdod ddi-derfyn a arferai gorthrymwyr ar eu deiliaid; a defnyddio o hono y cyfryw awdurdod er distryw i'r Iuddewon; ac ni arbedodd wneuthur llawer o gyfnewidiadau yn eu mysg, yn ol ei dueddiadau ei hun. Ac am amlder y rhai a ddifethwyd trwy'r dinystr a ddygodd efe arnynt; y cyfryw ag oedd ar ol a oddefasant flinderau llawer mwy nag yn ei amser ef: nid yn unig trwy'r gofidiau yr oeddynt ynddo oddiwrth ei edrychiad sarrug, a'i dymmer gâs tu ag attynt; ond oblegid y perygl yr oedd eu meddiannau ynddo o gael eu cymmeryd oddi arnynt. Dywedasant ei fod yn wastad yn rhyfeddu y dinasoedd oedd yn eu cymmydogaeth, a breswylid gan ddieithriaid; a hynny yn y fath fodd ag y dygodd adfeiliad a dinystr hollol ar y dinasoedd o'i lywodraeth ei hun. A phan gawsai feddiant o'r deyrnas, yr ydoedd mewn cyflwr tra blodeuog; ond efe a'i llanwasai â'r graddau eithaf o dlodi. A phan, ar achosion anghyfiawn, y lladdodd rai o'r pennaethiaid, cymmerodd ymaith eu hetifeddiaeth; a phan adawai i rai o honynt yn fyw, efe a'u condemniai i fforffettu yr hyn a feddent. Ac heblaw y trethoedd blynyddol a osododd ar bob rhai o honynt, yr oeddynt i wneuthur anrhegion helaethlawn iddo ef; i wŷr ei deulu, a'i gyfeillion; ac i'r cyfryw o'i gaeth-weision a gawsant y ffafr o'u gosod yn gasglwyr trethoedd; oblegid nad oedd un ffordd o fod yn rhydd oddiwrth drais anghyfiawn, ond trwy roddi un ai aur neu arian yn ei le. Na ddywedent hwy ddim am halogiad diweirdeb eu morwynion, a'r gwaradwydd a osodid ar eu gwragedd am anghyfreithlondeb cyfeillach; a'r pethau hyn

yn cael eu cyflawni mewn modd rhyfygus ac ac annaturiol: o herwydd nad oedd yn llai blinder i'r dioddefwyr i orfod cadw y cyfryw bethau yn guddiedig, nag oedd eu cyflawni hwynt. Ddarfod i Herod wneud y fath ammharch iddynt, a'r na wnaethai bwystfil niweidiol, pe rhoddasid rhyddid iddo. Ac er darfod i'w cenedl fyned trwy amryw gyfnewidiau, a dull o lywodraeth; ni chynnwysai eu hanes y fath gyfrif o drallodion a blinderau a fuant erioed tanynt cyffelyb i'r rhai hyn a ddygasai Herod arnynt. Ac mai am y rheswm hwn y gallent yn gyfiawn gyfarch Archelaus fel brenin; ar y dychymmyg o bwy bynnag a osodid ar eu teyrnas, yr ymddangosai yn fwy tyner nag a fu Herod; ac uno o honynt ag ef yn ei alar am ei dad i'w foddhau ef; ac oeddynt barod i ymrwymo iddo mewn pethau eraill hefyd, os cyfarfyddent ynddo â gradd o gymmedroldeb: ond darfod iddo ef ymddangos megis yn ofni rhag na chyfrifid ef yn fab i Herod ei hun: ac felly, heb ddim oed, parodd i'r genedl ddeall ei amcan; a hynny cyn i'w lywodraeth gael ei chadarnhau yn iawn iddo; gan fod yr awdurdod o'i threfnu yn perthynu yn unig i Cæsar; yr hwn a allai ei rhoddi iddo, neu beidio, fel ag y dewisai. Ddarfod iddo roddi siampl o rinwedd ei natur i'w ddeiliaid; a chyd â pha fath gymmedroldeb a llywodraeth dda y teyrnasai arnynt, trwy ei weithred gyntaf, a berthynai i'w ddinasyddion, ac i Dduw ei hun hefyd; pan wnaeth laddfa ar dair mil o'i gydwladwyr ei hun yn y deml. Pa fodd gan hynny y gallent ymattal rhag casineb cyfiawn tu ag atto; yr hwn at ei farbariaeth arall, a chwanegodd hyn, megis yn un o'u beiau, ddarfod iddynt ei wrthsefyll yn ymarferiad ei awdurdod? Yn awr, y peth mwyaf yr oeddynt yn ei ofyn ydoedd, fod iddynt gael eu huno â Syria, a'u gosod tan lywodraeth y cyfryw raglawiaid ag a ddanfonid attynt. Canys trwy hynny y gwnaed yn amlwg, pa un a oeddynt yn bobl ymrysongar, ac yn cyffredin hoffi trefniadau newyddion; neu oni fucheddent mewn dull reolaidd, pe byddai ganddynt lywodraethwyr cymmedrol wedi eu gosod arnynt.

Yn awr, wedi i'r Iuddewon ddywedyd hyn, Nicolaus a ymddiffynnodd y brenin rhag y cyhuddiadau hynny; ac a ddywedodd, ymherthynas i Herod, gan na chyhuddasid ef y modd hwn yn holl amser ei fywyd, nid oedd weddus i'r sawl a allent ei gyhuddo am lai beiau na'r rhai yn awr a grybwyllwyd, ac a allent ei ddwyn tan gospedigaeth pan oedd yn fyw, i ddwyn achwyniadau yn ei erbyn yn awr wedi ei farw. Efe hefyd a gyfrifodd weithrediadau Archelaus i'r drygau a wnaethai'r Iuddewon iddo. Y rhai yn chwennych llywodraethu yn wrthwyneb i'r cyfreithiau; ac yn myned o amgylch i ladd y rhai a geisient eu rhwystro i weithredu yn anghyfiawn, pan y cospwyd hwynt ganddo am yr hyn a wnaethent, i osod achwynion yn ei erbyn. Felly efe a'u cyhuddodd o'u hymdrech i newid trefniadau eu teyrnas, a'r pleser a gymmerent mewn ymryson; o'r achos na ddysgasent ymostwng i gyfiawnder, ac i'r cyfreithiau; ond fyth yn ewyllysio bod uwchlaw pob peth.

Wedi i Cæsar glywed y dadleuon hyn, efe a ollyngodd ymaith y dyrfa: ond ym mhen ychydig ddyddiau yn ol hynny efe a appwyntiodd Archelaus, nid i fod yn frenin yn wir ar yr holl wlad; ond ar un hanner o'r hyn oedd ddarostyngedig i Herod; gan addaw iddo yr uchelradd frenhinol yn ol hynny, os llywodraethai ei ddosparth yn rhinweddol. Ond am yr hanner arall, fe'i dosparthodd yn ddwy ran; ac a'u rhoddodd i ddau eraill o feibion Herod, Phylip ac Antipas; yr hwn a ddadleuasai ag Archelaus am yr holl deyrnas. Yn awr y bu i Perea a Galilea dalu eu teyrnged, ag oedd yn cyfodi yn flynyddol i * ddau cant o dalentau; tra'r oedd Batanea, gyd â Traconitis, yn gystal ag Auranitis...

* Gan fod Josephus yma yn hyspysu i ni, fod gan Archelaus hanner teyrnas Herod; ac yn ebrwydd yn hyspysu ymhellach fod ardreth blynyddol Archelaus, yn ol lleihâd o un chwarter yn bresennol, yn 600 o dalentau; gallwn oddiyma gasglu, yn dra agos, pa faint oedd cyllid neu ardreth flynyddol Herod Fawr: fy meddwl yw ynghylch 1600 o dalentau: yr hyn wrth adnabyddus werth 3000 o siclau i bob talent, ac ynghylch 2s. 10d. i bob sicl yn nyddiau Josephus, gwel nôd ar III. 8. sy'n gwneud i fyny 680000l. o arian bathedig yn y flwyddyn. Pa ryw ardreth, er yn fawr ynddi ei hun, nid oedd o un cyfattebiad i'w draul a'i gostau mawrion ym mhob man sydd i'w ganfod yn Josephus; ac i'r symmau mawrion a adawodd o'i ol yn ei ewyllys diweddaf, Pen. 8, a'r 11. y lleill oedd raid iddynt gyfodi oddiwrth ddirwy, neu gymmeriad eiddo y rhai a roddai i farwolaeth, neu a wnaed iddynt dalu ffin tu ag at achub eu bywydau, neu oddiwrth osodiadau trymion eraill o orthrymder; y rhai y mae'r cyfryw ormeswyr creulon yn ei arfer tu ag at eu deiliaid truain; neu yn hytrach oddiwrth yr holl drefniadau yma wedi eu dodi ynghyd: pa rai oll a ymddangosent, yn llawer rhy annigonol i'w gostau; wedi eu casglu oddiwrth ddim llai cenedl na'r Iuddewon, yr hon ydoedd dra phoblogaidd; ond heb y tantais o farsiandiaeth i ddwyn elw iddynt. Felly nis gallaf lai na meddwl, na tharddodd rhan nid bychan o'r cyfoeth hwn, oddiwrth achos arall; fy meddwl yw, oddiwrth ryw fesur mawr o arian a gafodd ym meddrod Dafydd: ond a gadwyd yn guddiedig oddiwrth y bobl.

tis, gyd â * rhyw ran o'r hyn a elwid † Zenodorus, yn talu y deyrnged o un cant o dalentau i Phylip. Ond Idumea a Judea, a gwlad Samaria, a dalasant eu teyrnged i Archelaus; ond a oedd ganddynt yn awr y bedwaredd ran o'r deyrnged honno wedi ei symmud ymaith, trwy orchymmyn Cæsar; yr hwn a ordeiniodd iddynt yr ysgafnhad hwn, o herwydd na unasent yn y gwrthryfel gyd ag eraill o'r lliaws. Yr ydoedd hefyd rai dinasoedd pendant yn talu teyrnged i Archelaus; Tŵr Strato a Sebaste, gyd â Joppa a Jerusalem. Canys am Gaza, Gadara, a Hippos, dinasoedd Groegaidd oeddynt, y rhai a wahanodd Cæsar oddiwrth ei lywodraeth, ac a'u cyssylltodd â thalaith Syria. Yn awr, yr arian teyrnged a ddaeth i Archelaus bob blwyddyn oddiwrth ei arglwyddiaethau ei hun, a gyfododd i chwe chant o dalentau.

A chymmaint a hyn a ddaeth i feibion Herod oddiwrth etifeddiaeth eu tad. Ond Salome, heblaw yr hyn a adawsai ei brawd iddi yn ei ewyllys: yr hyn oedd Jamnia, Ashdod, a Phasaelis; a phum can mil drachmæ o arian bathedig; a dderbyniodd gan Cæsar anrheg o breswylfa frenhinol yn Ascelon. Trwy'r cyfan, ei chyllid blynyddol a chwanegodd yn drugain o dalentau. A'i thŷ annedd ydoedd o fewn llywodraeth Archelaus. Eraill hefyd o berthynasau'r brenin a dderbyniasant yr hyn oedd ei ewyllys yn ei bennu iddynt. Ymhellach, Cæsar a roddodd anrhegion i ddwy o ferched Herod, heblaw yr hyn a adawodd eu tad iddynt, o ddau cant a deg a deugain drachmæ o arian, gan eu priodi â meibion Pheroras. Efe hefyd a ganiattaodd y cwbl a adawyd iddo ei hun i feibion y brenin, yr hyn ydoedd un mil a phum cant o dalentau; oddigerth ychydig o lestri aur y rhai a gadwodd; nid yn gymmaint o ran eu mawrwerth, ag i fod er coffadwriaeth am y diweddar frenin.

## PENNOD XII.

*Am ryw ffugiol Alexander.*

WEDI gorphen trefnu y matterion hyn ‡ gan Cæsar, rhyw ŵr ieuangc, Iuddew o enedigaeth, ond wedi ei ddwyn i fyny gan ŵr rhydd o Rufeinydd yn ninas Sidon, a ddododd ei hun i mewn yn un o garennydd Herod, trwy debygolrwydd ei wynebpryd; pan ddarfu i'r rhai a'i gwelsant dystio ei fod yr un ag Alexander, mab Herod, yr hwn a laddasai efe: a hyn oedd yn annogaeth iddo i ymdrechu i feddiannu'r llywodraeth. Felly cymmerodd gyd ag ef yn gynnorthwywr ddyn o'i wlad ei hun, (un ag oedd yn adnabyddus ag achosion y palas; ond ar gyfrif arall dyn drwg ydoedd; ac un yr oedd ei natur yn ei gymmwyso i beri aflonyddwch mawr i'r cyffredin; ac un a ddaeth yn hyfforddwr dyfeision drygionus i eraill,) ac a alwodd ei hun Alexander, mab Herod; ond wedi ei ledratta ymaith gan un a ddanfonasid i'w ladd ef; yr hwn a laddasai ddynion eraill mewn trefn i dwyllo'r edrychwyr; ond a'i hachubasai ef, a'i frawd Aristobulus. Felly'r ymfalchïodd y dyn hwn, ac y bu yn alluog i dwyllo y rhai a ddeuent atto. Ac wedi ei ddyfod i Crete, efe a barodd i'r holl Iuddewon a ddaeth i ymddiddan ag ef i gredu mai efe oedd Alexander. Ac wedi iddo gael llawer o arian, mewn ffordd o anrhegion yno, efe a aeth trosodd i Melos. Yno y cafodd lawer ychwaneg o arian nag o'r blaen; oddiwrth eu crediniaeth ei fod ef o'r teulu brenhinol; ac o obaith yr adferid iddo ef dywysogaeth ei dad, ac y gwobrwyai ei gymmwynaswyr. Felly efe a frysiodd i Rufain; ac a gyfarwyddwyd yno gan y dieithriaid oedd yn ei roesawi ef. Yr ydoedd hefyd mor ddedwydd, ac ar ei waith yn tirio yn Dicearchia, a dwyn yr Iuddewon oedd yno i'r un hudoliaeth. Ac nid pobl eraill yn unig, ond hefyd y rhai a fuasai gyfeillgar i Herod, neu ydoedd garedig iddo, a unasant eu hunain â'r dyn hwn megis eu brenin. Yr achos o hono ydoedd, am fod yn dda gan ddynion am ei ffuantrwydd, yr hyn a chwanegodd trwy debygolrwydd ei wynebpryd; yr hyn a barodd i'r rhai a adwaenai Alexander gredu yn gadarn mai yr un dyn ydoedd a hyn a sierhasant i eraill trwy

* Cymmerwch yma nôd tra defnyddiol o eiddo Grotius, ar Luc iii. 1. a gofier gan Dr. Hudson, "Pan y mae Josephus yn dywedyd, fod rhyw ran o dŷ neu etifeddiaeth Zenodorus (h. y. Abilene) wedi cael ei bennu i Philip: y mae efe wrth hynny yn dangos, fod y rhan fwyaf o honi yn perthyn i arall. Yr un arall hwnnw ydoedd Lysanias, yr hwn y mae Luc yn ei grybwyll, o hiliogaeth y Lysanias hwnnw a etifeddodd yr un wlad, a elwid Abilene, oddiwrth y ddinas Abila; a chan eraill Chalcidene, oddiwrth y ddinas Chalchis; pan oedd llywodraeth y dwyrain tan Antonius; a hynny ar ol Ptolemy, mab Menneus: oddiwrth ba Lysanias, y daeth y wlad hon i gael ei galw yn wlad Lysanias. Ac megis wedi marw y Lysanias blaenorol, y galwyd hi yn rhaglawiaeth Zenodorus. Felly ar ol marwolaeth Zenodorus; neu wedi i'r amser tros ba un y cyflogodd hi ddiweddu; pan ddarfu i Lysanias arall o'r un enw a hwnnw o'r blaen, etifeddu yr unrhyw wlad; dechreuwyd drachefn ei galw yn rhaglawiaeth Lysanias." Pa fodd bynag, gan fod Josephus mewn man arall, XX. 7. yn eglur wahaniaethu Abilene oddiwrth Chalcidene, cyn belled a hyn rhaid fod Grotius yma yn camsynied.

† Llywodraeth pedwaredd rhan teyrnas. ‡ Bl. 2.

lw. Yn gymmaint a phan aeth y son o amgylch ei fod yn dyfod i Rufain, holl liaws yr Iuddewon ydoedd yno a aethant allan i gyfarfod ag ef: gan ei gyfrif i ddwyfol ragluniaeth iddo ddiangc mor annisgwyliadwy; ac a oeddynt yn dra llawen ar gyfrif teulu ei fam. Ac wedi ei ddyfod, dygwyd ef ar elor feirch frenhinol trwy'r heolydd; a'r holl addurniadau o'i amgylch oedd y fath ag a addurnir brenhinoedd â hwynt; a hyn oll a fu ar gost y rhai a'i croesawasent ef. Y lliaws hefyd a dyrrasant o'i amgylch, ac a floeddiasant o lawenydd tu ag atto: ac ni adawyd dim yn eisiau ag a feddylid fod yn addas i un a achubwyd mor annisgwyliadwy.

Pan adroddwyd am y pethau hyn i Cæsar, ni chredai ef: oblegid nad oedd Herod yn un a ellid yn hawdd ei dwyllo yn y fath beth ag oedd o ganlyniad mawr iddo. Etto efe âg amheuaeth ganddo ygallai'r peth fod felly, danfonodd un Caledus, gwr rhydd iddo ef, ac un a ymddiddanasai â'r * dynion ieuaingc eu hunain; ac a archodd iddo ddwyn Alexander ger ei fron. Felly fe'i dygodd ef, heb ganddo fwy o gywreinrwydd i farnu yn ei gylch nag ereill o'r lliaws. Etto ni thwyllodd ef Cæsar. Ac er bod tebygolrwydd ynddo i Alexander, etto nid ydoedd mor gwbl felly, ag i beri camsyniaeth i rai oedd fanwl yn medru gwahaniaethu. Canys yr Alexander ffuantus hwn ydoedd â dwylaw geirwon ganddo, trwy'r llafur a fuasai arferol ag ef: ac yn lle y llyfndra corphorol oedd berthynol i'r llall, a hynny yn tarddu oddiwrth ei feithrindod a'i ddygiad boneddigaidd i fynu; y dyn hwn, trwy achosion gwrthwyneb, oedd a'i gorph yn arw ac afrywiog. Pan welodd Cæsar gan hynny y modd yr oedd yr athraw a'r disgybl, neu ysgolhaig, yn cyttuno yn yr hanes anwireddus hon, ac mewn ffordd hyf o ymadroddi; efe a ymofynnodd ynghylch Aristobulus, a pha beth a ddaethai o hono ef, yr hwn a ddywedid ei fod wedi ei ledratta ymaith gyd ag ef: ac am ba reswm yr ydoedd na ddaethent yno ynghyd, i ymdrechu am adferiad o'r arglwyddiaeth oedd ddyledus i'w enedigaeth freiniol yntau hefyd? A phan ddywedodd adael o honynt ef yn ynys Crete, rhag ofn peryglon y môr; fel os digwyddai ryw ddamwain iddo ei hun, na lwyr ddifethid hiliogaeth Mariamne: ond bod Aristobulus yn aros yn fyw; ac y cospai y rhai a osodasai y fath amcan bradwriaethus yn eu herbyn. A phan oedd yn para i sicrhau hyn, ac awdwr y twyll-ddichell yn cyttuno i gadarnhau'r matter: Cæsar a gymmerodd y dyn ieuangc o'r neilldu wrtho ei hun, ac a ddywedodd wrtho, "Os na thwylli fi, ti gei ddiangc â'th fywyd yn ddianggol. Dywed i mi gan hyny pwy ydwyt? a phwy oedd y neb a fu a chanddo hyfdra digonol i lunio'r fath dwyll a hwn? Canys y ddyfais hon sydd iw hystyried yn ddernyn rhy ddichellddrwg i'w gymmeryd arno gan un o'th oedran di?" Yn ganlynol, gan na allai gymmeryd ffordd arall, dywedodd i Cæsar am yr amcan, yn mha ddull, a chan bwy yr oedd wedi ei ddarlunio. Felly Cæsar, wedi dal sulw ar yr Alexander ffuantus hwn, ei fod yn ddyn o gorpholaeth grymmus, ac yn abl i weithio â'i ddwylaw, fel na thorrai ei addewid iddo, efe a'i dododd ym mysg y rhai ag oedd yn rhwyfo gyd â'r morwyr; ond a laddodd yr hwn a'i hudodd i wneud y cyfryw beth. Canys am bobl Melos, barnodd eu bod hwy wedi eu cospi yn ddigonol, trwy daflu cymmaint o'u harian ymaith i'r Alexander ffugiol hwn. A'r fath a fu diwedd gwarthus y ddyfais hyf a chelwyddog hon.

## PENNOD XIII.

*Am ail achwyniad yn erbyn Archelaus; a'i alltudiad i Vienna.*

WEDI i Archelaus fyned i mewn i'w lywodraeth, a'i ddyfod i Judea, † efe a achwynodd ar Joazar, mab Boethus, am gynnorthwyo y rhai ymrysongar; ac a gymmerodd ymaith yr archoffeiriadaeth oddi arno; ac a osododd Eleazar ei frawd yn ei le ef. Efe hefyd a ail-adeiladodd y palas brenhinol yn Jericho; ac a drodd ymaith hanner y dwfr â'r hwn y dyfrheid pentref Nerea, gan ei dynnu i'r gwastadedd, i ddwfrhau y palmwydd a blanasai yno. Efe hefyd a adeiladodd faesdref, ac a ddododd ei enw ei hun arni, gan ei galw Archelaus. Ynhellach, efe a ‡ dorrodd gyfraith ein tadau, trwy briodi Glaphyra, merch Archelaus, yr hon a fuasai wraig i'w frawd Alexander; yr hwn Alexander a gawsai blant o

* Alexander ac Aristobulus.

† Blwyddyn yr Arglwydd 1.

‡ Spanheim sydd yn sylwi yn brydlon yma, ei fod yn waharddedig i'r Iuddewon i un briodi gwraig ei frawd, yr hwn y buasai plant iddi o'i gwr cyntaf; a bod Zonaras yn deongli'r ymadrodd o'n blaen yn gyfattebol i hynny.

honi; pan ydoedd yn beth ffiaidd yngolwg yr Iuddewon i un briodi gwraig ei frawd. Ac ni arhosodd yr Eleazar hwn yn hir yn yr archoffeiriadaeth; gan ddarfod dodi Jesus mab Sie yn ei le tra'r ydoedd etto yn fyw.

Ond ar y ddegfed flwyddyn o lywodraethiad Archelaus, yn gystal ei frodyr a gwŷr pennaf Judea, heb allu goddef ei weithrediadau gormesol ef, a wnaethant achwyniad arno o flaen Cæsar; a hynny yn enwedigol oblegid y gwyddent iddo dorri y gorchymmynion hynny ag oedd yn ei rwymo i fod yn gymhedrol. Wrth hyn yr oedd Cæsar yn dra digllon; ac a alwodd am oruchwyliwr Archelaus, yr hwn oedd yn gofalu am ei achosion yn Rhufain; gan ei olygu yn beth islaw iddo ei hun i ysgrifennu atto, efe a archodd i'r goruchwyliwr fordwyo ymaith mor gynted ag oedd bossibl, a'i ddwyn gyd ag ef i Rufain. Felly y gwr a frysiodd yn ei fordaith; a phan ddaeth i Judea, efe a gafodd Archelaus yn gwledda gyd â'i gyfeillion. Yna y dywedodd ei neges wrtho, ac a'i prysurodd ymaith. Ac wedi ei ddyfod i Rufain, Cæsar, ar ei wrandawiad o'r hyn oedd gan ei gyhuddwyr i ddywedyd, a pha atteb a allai efe ei wneuthur, a'i halltudodd ef, ac a appwyntiodd Vienna, dinas yn Gaul, i fod yn lle ei breswylfod; ac a gymmerodd ei arian ymaith oddi wrtho.

Yn awr, cyn i Archelaus fyned i fynu ar y neges hwn i Rufain, adroddodd ei freuddwyd hwn i'w gyfeillion: ddarfod iddo weled deg o dywysennau ŷd, o wenith yn gyflawn addfed; pa ryw dywysennau, fel yr ymddangosai iddo ef, a ddifethwyd gan ychain. Ac wedi iddo ddihuno a chyfodi i fynu, gan ddychymmygu fod y weledigaeth o bwys mawr iddo, efe a ddanfonodd am y dewiniaid, swydd pa rai ydoedd astudio ynghylch breuddwydion. A phan oedd rhai o un tŷb, ac eraill o dŷb arall, (canys eu deongliadau oll ni chyttunasant.) Simon, gwr o'r Esseniaid, a ddymunodd gennad i ddywedyd yn rhydd ei feddwl; ac a amlygodd, fod y weledigaeth yn arwyddo cyfnewidiad yn amgylchiad Achelaus, a hynny nid er gwell: fod ychain, oblegid blinder anesmwyth eu llafur, yn arwyddo cystuddiau neu drallodion: ac yn wir yr oedd yn dangos cyfnewidiad trefniadau; o herwydd y tir wedi ei aredig gan ychain ni all aros yr un wedd ag o'r blaen. A bod y tywysennau ŷd, a hwy yn ddeg, yn penderfynu yr un rhifedi o flynyddoedd; o herwydd tywysen o ŷd ydoedd un flwyddyn o dyfiant: a bod amser llywodraethiad Archelaus wedi myned trosodd. Ac fel hyn y darfu i'r gwr hwn egluro'r breuddwyd. Yn awr, ar y pummed dydd ar ol y breuddwyd hwn y daeth ei oruchwyliwr yn gyntaf at Archelaus, i'w wysio i ymddangos o flaen Cæsar yn Rhufain.

Y cyffelyb ddamwain a oddiweddodd Glaphyra ei wraig, yr hon oedd ferch y brenin Archelaus: pa un, fel y dywedais eisoes, a briodwyd yn ferch ieuangc ag Alexander, mab Herod, a brawd Archelaus. Ond wedi digwydd lladd Alexander gan ei dad, hi briododd Juba, brenin Lybia: ac wedi marw o hono ef, a hi yn aros mewn gweddwdod gyd â'i thad yn Cappadocia, Archelaus a ysgarodd â'i wraig gyntaf, Mariamne, ac a'i priododd hi; mor gryf oedd ei serch i'r Glaphyra hon: pa ryw un yn amser ei phriodas ag ef, a ganfu y breuddwyd canlynol: dychymmygodd weled Alexander yn sefyll yn ei hymmyl, wrth yr hyn y llawenychodd, ac a'i cofleidiodd yn dra charedig: ond efe a achwynodd arni, ac a ddywedodd, "O Glaphyra! tydi a brofaist y dywediad hwnnw yn wir; ag sy'n sicrhau nad yw merched i ymddiried iddynt. Oni roddaist wystl o'th ffyddlondeb i mi? ac oni phriodwyd di â mi pan oeddit yn wyryf ieuangc? ac oni bu plant rhyngom? Etto ti a anghofiaist fy serchogrwydd oddiar ddymuniad am ail ŵr. Ac ni foddlonaist ar y cam hwnnw a wnaethost i mi; ond ti fuost mor hyfed a chymmeryd i ti drydydd ŵr; mewn dull anweddaidd a digywilydd a aethost i mewn i aros i'm tŷ, wedi priodi âg Archelaus fy mrawd. Pa fodd bynnag, ni anghofiaf dy garedigrwydd gynt i mi; ond a'th ryddhaf oddiwrth bob cyfryw weithred waradwyddus; ac a'th baraf di yn eiddo im' fy hun drachefn megis unwaith y buost." Wedi adrodd o honi hyn i'w chymdeithaswraig, ym mhen ychydig ddyddiau hi a ymadawodd â'r bywyd hwn.

Yn awr, ni fernais yr hanesion hyn yn amhriodol i'w traethu yma; yn gystal o herwydd fod fy adroddiad yn awr ynghylch breniniaethau, ac ar gyfrif pethau eraill hefyd; o herwydd y fantais a dardd oddiwrth hyn i gadarnhau anfarwoldeb yr enaid; ac i brofi llywodraethiad

rhagluniaeth ar achosion dynolryw. Ond os bydd rhyw un na chreda y fath adroddiad, bydded iddo gael mwynhau ei dyb ei hun; eithr na fydded rwystr i arall, yr hwn a ddymunai wrth hynny, ei annog ei hun i rinwedd dda. Felly gwlad Archelaus a chwanegwyd at dalaith Syria: a Cyrenius, un a fuasai yn brif-swyddog a ddanfonwyd gan Cæsar i gymmeryd cyfrif o feddiannau pobl yn Syria, ac i wneud gwerth ar dŷ Archelaus.

---

# LLYFR XVIII.

*Yn cynnwys yr Amseriad o Ddeuddeng Mlynedd ar Hugain.*

## O ALLDUDIAD ARCHELAUS, HYD YMADAWIAD YR IUDDEWON O BABILON.

### PENNOD I.

*Am drethiad Syria a Judea; ac appwyntiad Coponius yn Rhaglaw Judea. Hefyd ymherthynas i Judas o Galilea; a'r Pleidiau ydoedd ym mysg yr Iuddewon.*

YN awr Cyrenius, un o Seneddwyr Rhufain, yr hwn a aethai trwy swyddau gwladol eraill, hyd oni wnaed ef yn brif-swyddog; a'r hwn ar gyfrifon eraill ydoedd o raddau uchel, a ddaeth y pryd hyn i Syria, gyd ag ychydig eraill; wedi ei anfon gan Cæsar i fod yn farnwr y genedl honno; ac i gymmeryd cyfrif o'u meddianau, a gwneuthur trefn ar eiddo Archelaus. Ond yr Iuddewon, er iddynt yn y dechreu dderbyn y sôn am drethiad yn beth erchyll, etto hwy a adawsant heibio bob grwgnach ymhellach yn ei erbyn, trwy berswadiad Joazar, yr hwn oedd fab Boethus, ac archoffeiriad. Felly wedi eu hynnill gan eiriau Joazar, rhoddasant i mewn gyfrif o'u hetifeddiaethau yn ddiddadl. Etto'r ydoedd yn eu mysg un Judas, Gauloniad, o'r ddinas Gamala: yr hwn gan gymmeryd gyd ag ef * Saddouc, Pharisead, a geisiodd eu tynnu yn egnïol i wrthwynebiad; gan ddywedyd nad oedd y trethiad hwn yn ddim gwell nac arweiniad i gaethiwed; a chynghori y genedl i ddadleu am ei rhyddid: megis pe gallasent hwy ynnill dedwyddwch iddynt, a sicrwydd o'r hyn a feddiannent, gyd â mwynhad diberygl o ddaioni mwy yn ol-llaw; yr hyn ydoedd yr anrhydedd a'r clod a ynnillent trwy hynny oblegid eu gwroldeb. Dywedasant hefyd na fyddai Duw mewn modd amgen yn gynnorthwy iddynt, na thrwy uno â'u gilydd yn y cyfryw gynghorion ag a allai fod yn llwyddiannus, ac er eu hunain fantais; a hynny yn enwedig os ymosodent ynghylch rhyw weithredoedd gorchestol, a pheidio â diffygio yn y cyflawniad o honynt. Felly dynion a wnaethant dderbyniad o'r hyn a ddywedent gyd â pharodrwydd; a'r antur hyf yma a aeth ym mlaen i raddau uchel. Pob math o aflwydd hefyd a dyfodd i fynu oddiwrth y gwŷr hyn; a'u hathrawiaeth a lygrodd yr holl genedl i raddau anghredadwy. Y naill ryfel gorthrwm a ddaeth arnom ar ol y llall; a nyni a gollasom ein cyfeillion a arferai esmwythâu arnom. Yr ydoedd hefyd yspeilio mawr, a llofruddiad ein gwŷr pennaf. Hyn a gymmerent arnynt ei gyflawni yn wir er lles i'r cyffredin; ond a ydoedd mewn gwirionedd gyd ag amcan o gael elw iddynt eu hunain. Oddi yma y cododd terfysgau, ac oddiwrth hynny llofruddiaeth dynion; yr hyn a syrthiodd weithiau ar rai o'u pobl eu hunain; (trwy wallgofrwydd y dynion hyn yn ymddwyn tu ag at eu gilydd; tra'r ewyllysient na fyddai i un o'r blaid wrthwynebol aros yn fyw,) ac weithiau ar eu gelynion. A newyn yn dyfod hefyd arnom a'n darostyngodd i'r radd eithaf o anobaith; fel y darfu hefyd i oresgyniad a dinystriad y dinasoedd. Ië'r ymraniad hefyd a gyfododd mor uchel, ag i deml Dduw gael ei llosgi â thân y gelynion. Y fath ydoedd y canlyniadau o hyn ag y dygodd gyfnewidiad ar ddefodau ein tadau, a'r cyfryw gyfnewid ag a chwanegodd yn fawr at ddwyn

* Fe ymddengys i mi nad yw'n annhebyg, mai yr un ydoedd Saddouc, y Pharisead hwn, ag y sonir am dano gan y Rabbiniaid, megis yr anneddwydd eithr anfwriadol achos o annuwioldeb neu ddidduwiaeth y Sadduceaid; ac ysgatfydd nad oedd yr enw Saduceaid gan ddynion hyd y pryd hwn; er eu bod yn blaid wahanol ym mhell o'r blaen. Gwel y nôd ar y XIII. 10. a'r deon Prideaux a gefeir yno. Ac nid ydym, mor bell ag y gwn i, yn cael arwyddion o'r fath annuwioldeb neu ddidduwiaeth ym mysg y Sadduceaid cyn yr amser hwn.

dinystr ar y cyfan, yr hyn a fu'r dynion yma yn achos o hono trwy eu cydfradwriaeth. Canys Judas a Sadducus, y rhai a gynnyrfasant bedwerydd blaid yn ein mysg, ac a chauddynt lawer o ddilynwyr, a lanwasant ein llywodraeth wladol â therfysg, ac a osodasant sylfaen i flinderau mewn amser ar ol, trwy yr ansawdd yma o philosophyddiaeth ag oeddym yn anhyspys o hono o'r blaen. Ymherthynas i'r hyn y bydd i mi ymddiddan ychydig; a hynny yn hytrach o herwydd y llwgr oedd yn ymdanu oddiwrtho ym mysg yr ieuengctyd, pa rai oedd yn awyddus annog yr hyn a ddygodd y cyffredin i ddinystr.

Yr oedd gan yr Iuddewon, er's hir amser, dair plaid philosophyddaidd, briodol iddynt eu hunain; plaid yr Esseniaid, y Sadduceaid, a'r Phariseaid. Am ba ryw bleidiau neu sectau mi lefarais eisoes yn ail lyfr y Rhyfeloedd Iuddewig; etto bydd i mi gyffwrdd ychydig â hwy yn bresennol.

Yn awr y Phariseaid a arferent fywiolaeth wael, ac a ddiystyrant ddanteithion, gan lynn wrth reolau rheswm; a'r peth y mae hynny yn addysgu iddynt fel yn llesol, a wnant. Maent hefyd yn perchi y rhai oedrannus mewn blynyddau; ac nid ydynt mor hyf a'u gwrthddywedyd mewn un peth a osodant ger bron. A phan y maent yn barnu fod pob peth yn digwydd yn ol * tynghedfen, nid ydynt yn cymmeryd oddiwrth ddynion y rhyddid o weithredu fel y tybient yn oreu: gan mai eu tyb ydyw, ddarfod i Dduw weled yn dda weithredu tymheredd, trwy 'r hyn y mae'r peth a ewyllysio yn cael ei gyflawni ganddo: ond yn y modd hwnnw fel ag y gall ewyllys dyn weithredu yn rhinweddol neu yn ddrygionus. Y maent hefyd yn credu fod gan eneidiau fywiogrwydd anfarwol ynddynt: ac y bydd îs y ddaear wobrwyon a chospedigaethau; megis ag y buont fyw yn rhinweddol neu yn bechadurus yn y bywyd hwn; a'r rhai diweddaf a gedwir mewn carchar tragywyddol: ond y rhai cyntaf a gant allu i ymadnewyddu, ac i fwynhau ailfywyd drachefn. Ar gyfrif pa ryw athrawiaethau y maent yn alluog i berswadio holl gorph y bobl: a pha beth bynnag a arferent ymherthynas i ddwyfol addoliad, gweddiau, ac aberthau, y maent yn eu gwneuthur wrth eu cyfarwyddyd hwynt: yn gymmaint ag y mae'r dinasoedd yn dwyn tystiolaeth fawr trostynt, ar gyfrif eu hymarweddiad rhinweddol, a'u hymddiddanion.

Ond athrawiaeth y Sadduceaid ydyw, fod eneidiau yn marw gyd â chyrph dynion: ac nid ydynt yn gwneuthur sulw o ddim ond yr hyn y mae'r gyfraith yn ei orchymmyn. Canys y maent yn ei gyfrif yn arwydd o rinwedd i ddadleu â'r dysgawdwyr hynny o philosophyddiaeth, ag y maent yn mynych ymweled â hwynt. Eithr ni dderbynnir yr athrawiaeth hon ond gan ychydig; a'r rhai hynny ym mysg y graddau uchaf. Ond ni's gallant wneuthur nemmor o bethau eu hunain. Canys pan ddelont yn swyddogion; fel y maent o'u hanfodd ar amserau yn gorfod bod, nesânt eu hunain at farn y Phariseaid, o herwydd pe amgen ni oddefid hwynt gan y lliaws.

Athrawiaeth yr Esseniaid yw hyn: Fod yn oreu cyfrif pob peth i Dduw. Maent yn tystio anfarwoldeb eneidiau; ac yn cyfrif gwobrwyon cyfiawnder yn deilwng o ymdrechu am danynt. A phan ddanfonant yr hyn a gyssegrasant i Dduw i'r deml, nid ydynt yn offrymmu aberthau; o herwydd fod purach glanhâd ganddynt eu hunain. Ar ba gyfrif y cenir hwynt allan o gyntedd cyffredin y deml; ond hwy a offrymmant eu haberthau eu hunain. Etto y mae ystod eu bywyd yn well na dynion eraill; ac y maent yn ymroddi eu hunain yn gwbl i hwsmonaeth. Y mae hefyd yn deilwng o'u sulw, y modd y rhagorant ar bob dynion eraill mewn ymlyniad wrth rinwedd, a hynny trwy gyfiawnder; ac yn wir i'r fath radd a'r nad ymddangosodd ym mysg dynion eraill, pa un bynnag ai Groegiaid neu Farbariaid, ïe tros fyr amser: ond parhaodd hyn tros amser hir yn eu plith hwynt, fel y dangosir trwy eu gosodedigaeth; pa un ni chaniattâ i ddim eu lluddias rhag bod ganddynt bob peth yn gyffredin: fel nad yw gwr cyfoethog yn mwynhau ychwaneg o'i gyfoeth ei hun, na'r hwn sydd heb ganddo ddim. Y mae ynghylch pedair mil o ddynion ag sy'n cymmeryd y ffordd yma o fywiolaethu: y rhai ni phriodant wragedd, ac ni chwennychant gadw gwasanaeth-ddynion; megis yn golygu'r peth diweddaf yn achlysur i ddynion fod yn anghyfiawn; a'r cyntaf â llaw ganddo mewn amrafaelion teuluaidd. Ond fel

* Neu Ragluniaeth.

y maent yn byw wrthynt eu hunain, y maent yn gweini y naill i'r llall. Y maent hefyd yn appwyntio goruchwylwyr i wneud derbyniad o'r elw oddiwrth eu teyrnged flynyddol, ac o ffrwythau'r ddaear; y cyfryw ag ydynt wŷr da, ac offeiriaid: y rhai a edrychant am ŷd, ac am wneud eu hymborth yn barod iddynt. Nid yw neb o honynt yn gwahaniaethu oddiwrth eraill o'r Esseniaid yn eu dull o fywiolaeth: ond y maent yn tebygu yn fwyaf i'r Dacæ, y rhai a elwir Polistæ, neu drigaunwyr dinasoedd.

Ond am bedwerydd plaid y philosophi Iuddewig, Judas y Galilead ydoedd ei hawdwr. Y bobl hyn a gyttunant ym mhob peth arall â thybiau y Phariseaid, ond sydd ag yuddynt ymlyniad mawr wrth ryddid; pan ddywedant mai Duw sydd i fod yn unig arglwydd, a llywodraethwr arnynt. Nid ydynt hefyd yn rhuso unrhyw ddull o farwolaeth; ac nid ydynt yn wir yn ystyriol o farwolaeth eu perthynasau a'u cyfeillion: ac ni all dim ofn dynol wneuthur iddynt alw neb yn arglwydd. A chan fod yr ymroad ansigledig hwn yn adnabyddus i laweroedd, ni lefaraf ymhellach am y matter hwnnw. Ac nid oes ofn arnaf rhag i un peth a ddywedais gael ei anghredu; ond a ofnaf yn hytrach fod yr hyn a ddywedais islaw'r ymroddiad a ddangosant pan fyddant tan unrhyw boen. Ac yn amser Gessius Florus y bu ddarfod i'r genedl fyned yn wallgof o'r afiechyd hwn, pa un nid ydoedd raglaw neu ddirprwywr; ond yn un a barodd i'r Iuddewon ymwylltio trwy'r camddefnydd a wnaeth o'i awdurdod; a thrwy beri iddynt wrthgilio oddiwrth y Rhufeiniaid.

## PENNOD II.

*Am adeiladaeth amryw ddinasoedd er anrhydedd Cæsar; y dilyniad o Offeiriaid a Rhaglawiaid; a matterion y Phraates a'r Parthiaid.*

WEDI i Cyrenius drefnu meddiannau Archelaus, a dyfod o'r trethoedd i ddiweddiad, yr hyn a ddaeth o amgylch yn y * ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain o fuddugoliaeth Cæsar ar Antony yn Actium; efe a ddifuddiodd Joazar o'r archoffeiriadaeth, yr hon urddas y gosodasid ef ynddi gan y lliaws; ac a appwyntiodd Ananus, mab Seth, yn archoffeiriad. Herod a Phylip, yn y cyfamser, a etifeddasant bob un lywodraeth eu taleithiau, a sefydlasant fatterion yr unrhyw. Herod hefyd a wnaeth fur o amgylch Sepphoris, yr hwn yw diogelwch Galilea; ac a'i gosododd yn brif ddinas y wlad. Efe hefyd a wnaeth fur o gwmpas Betharamphtha, yr hyn ydoedd ei hun yn ddinas hefyd; ac a'i galwodd hi Julias, oddiwrth enw gwraig yr ymerawdwr. Wedi i Phylip hefyd adeiladu Paneas, dinas yn agos i ffynhonnau'r Iorddonen, efe a'i galwodd Cæsarea. Efe hefyd a ddyrchafodd y pentref Bethsaida, yr hwn sydd â'i sefyllfa wrth lynn Gennesareth, i'r anrhydedd o ddinas, yn gystal o herwydd nifer ei phreswylwyr, ac oblegid ei gwychder; gan ei galw wrth yr enw Julias, er anrhydedd merch Cæsar.

Yn awr fel yr oedd Coponius, yr hwn a ddanfonasid gyd â Cyrenius, yn cyflawni ei swydd o ddirprwywr, ac yn llywodraethu Judea, y ddamwain ganlynol a ddigwyddodd: Fel ag yr oedd yr Iuddewon yn cynnal gŵyl y bara croiw, yr hon a alwn y Pasg; arfer yr offeiriaid ydoedd agor pyrth y deml yn gynnwys ar ol hanner nos. Gan hynny, wedi agoryd gyntaf y pyrth hyn, rhai o'r Samariaid a ddaethant yn ddirgel i Jerusalem, gan daenu o amgylch esgyrn dynion meirw yn yr ystafelldai: ar ba gyfrif yr Iuddewon ar ol hynny a'u canasant allan o'r deml, yr hyn ni arferent wneuthur ar y cyfryw wyliau: ac ar gyfrifon eraill hwy a wyliasant y deml yn fwy dyfal nag yr arferent wneuthur o'r blaen. Wedi myned heibio y ddamwain hon, Coponius a ddychwelodd i Rufain, a Marcus Ambivius a ddaeth i fod ei ddilynwr yn y llywodraeth: tan lywodraethiad pa un y bu farw Salome, chwaer y brenin Herod; gan adael i Julia (gwraig Cæsar) etifeddiaeth Jamnia, ei holl ardaloedd, ynghyd â Phasaelis yn y gwastadedd, lle mae planfa fawr o balmwydd, a'u ffrwyth yn odiaethol yn ei ryw. Yn ol hyn y daeth Annius Rufus. Tan ba un y bu farw Cæsar, ail ymerawdwr y Rhufeiniaid, y parhad o deyrnasiad pa un a fu ddwy ar bymtheg a deugain o flynyddau, chwe mis, a dau o ddyddiau; o ba ryw amser Antonius a lywodraethodd gyd ag ef bedair blynedd ar ddeg; ond

* Hardiun sydd yn beio ar Josephus, am iddo ddywedyd i'r trethiad tan Cyrenius ddigwydd yn yr 37 flwyddyn ar ol buddugoliaeth Actiac, ond heb un achos cyfiawn yn y byd. Gwybyddir i'r frwydr honno gael ei hymladd rhwng Augustus a Marc Antony ddechreu Medi, yn yr 31 mlwydd o flaen y cyfrif Cristionogol. At yr hyn chwanegei 36 mlwydd hyd ddechreu Medi, B. A. 6. Yn y flwyddyn nesaf i ba un y syrth yn naturiol alltudiaeth Archelaus, a'r trethiad tan Cyrenius, hyd yr 37 mlwydd o fuddugoliaeth Actiac, B. A. 7. Gwel yn Saesonaeg Authentic Records, Rhan II. t. d. 1103, 1104.

parhad ei holl fywyd ydoedd ddwy ar bymtheg a thrugain o flynyddau. Ar ei farwolaeth ef, Tiberius Nero, mab Julia ei briodwraig, a'i dilynodd. Efe ydoedd yn awr yn drydydd ymerawdwr; ac a ddaufonodd Valerius Gratus yn llywodraethwr ar Judea, yn ol Annius Rufus. Y gwr hwn a ddifeddiannodd Ananus o'r archoffeiriadaeth; ac a appwyntiodd Ismael, fab Phabi, yn archoffeiriad. Efe hefyd a'i difuddiodd ef mewn ychydig amser, ac a ordeiniodd fab Ananus, yr hwn a fuasai archoffeiriad o'r blaen. Ond wedi iddo gynnal y swydd offeiriadol am flwyddyn, Gratus a'i difuddiodd o honi, ac a'i rhoddodd i Simon mab Camithus. A phan na feddiannodd efe y dyrchafiad hwnnw yn hwy na blwyddyn, Joseph Caiaphas a wnaed yn ddilynwr iddo ef. Wedi i Gratus wneuthur y pethau hyn, efe a aeth yn ol i Rufain, wedi iddo aros yn Judea un ar ddeg o flynyddau: pan ddaeth Pontius Pilate yn ddilynwr iddo.

Ac yn awr Herod y tetrarch, yr hwn ydoedd mewn ffafr fawr gyd â Tiberius, ac a adeiladodd ddinas o'r un enw ag ef, ac a'i galwodd Tiberius; efe a'i hadeiladodd yn y rhan oreu o Galilea, wrth lynn Genesareth. Yr oedd ymolchfeydd brydion ychydig bellder oddiwrthi, mewn maesdref a elwid Emmaus. Dieithriaid a ddaethant i breswylio'r ddinas hon: a rhifedi mawr o'r trigolion hefyd ydoedd yn Galileaid: a llawer a barwyd iddynt ddyfod yno gan Herod o'r wlad berthynol iddo ef; a hwy a gymmellwyd i ddyfod i aros ynddi. Rhai o honynt ydoedd o sefyllfa anrhydeddus. Efe hefyd a dderbyniodd bobl dlodion; a'r rhai hynny yn gyfryw ag a gasglwyd o bob parth i breswylio ynddi, a rhai o honynt heb fod yn gwbl ryddion: i'r rhai hyn y bu efe yn gymmwynaswr, ac a'u rhyddhaodd wrth rhifedi mawr; gan beri nad ymadawent â'r ddinas, trwy adeiladu iddynt dai cyfleus ar ei draul ei hun, a threfnu tiroedd i'w canlyn. Canys efe a wyddai trwy wneuthur hwn yn lle trigianol y troseddai gyfreithiau hynafiaethol yr Iuddewon, oblegid fod amryw feddau oddiyma i gael eu symmud ymaith, mewn trefn i wneuthur lle i'r ddinas Tiberius; pan y mae ein cyfreithiau yn datgan fod y cyfryw breswylwyr yn aflan, * tros saith niwrnod.† Ynghylch yr amser hwn y bu farw Phraates, brenin y Parthiaid, trwy fradwriaeth Phraataces ei fab, ar yr achos canlynol. Pan oedd i Phraates feibion cyfreithlon o'r eiddo ei hun, yr oedd ganddo wasanaethyddes o Italiad, enw pa un oedd Thermusa; yr hon a ddaufonasid iddo gyntgan Julius Cæsar, ym mhlith anrhegion eraill. Bu gyntaf yn ordderchwraig iddo: ond trwy ryfeddu yn fawr wrth ei thegwch, a chael mewn amser fab o honi hi, enw'r hwn ydoedd Phraataces, efe a'i gwnaeth hi iddo yn wraig gyfreithlon, ac a oedd a chanddo barch mawr iddi. Yn awr yr ydoedd hi yn alluog i'w berswadio i wneud pa beth bynnag a ddywedai; ac yr ydoedd yn awyddus i gael llywodraeth Parthia i'w mab. Ond etto hi ganfyddodd nad oedd ei hymdrechiadau hyn yn debyg o lwyddo, oddieithr dyfeisio o honi pa fodd i symmud plant cyfreithlon Phraates allan o'r deyrnas. Felly hi ai perswadiodd i ddaufon ei feibion yn wystlon o'i ffyddlondeb i Rufain; a hwy a ddaufonwyd yno, o herwydd nad oedd yn hawdd iddo wrthwynebu ei deisyfiadau hi. Yn awr tra'r oedd Phraataces yn cael yn unig ei ddwyn i fynu mewn trefn i ddilyn yn y llywodraeth, dychymmygodd yn dra hirfaith ei disgwyl, hyd oni adawid hi iddo gan ei dad. Gan hynny efe a luniodd amcan bradwriaethus yn ei erbyn, trwy gyfarwyddyd ei fam; gyd â pha un, fel y sonid o amgylch, yr oedd iddo gyfeillach anghyfreithlon. Felly efe a gashawyd am bob un o'r drygau erchyll hyn, pan nad oedd ei ddeiliaid yn cyfrif ei chwant drygionus hwn i'w fam, yn llai ei raddau na llofruddiaeth ei dad: ac efe mewn terfysg a yrrwyd allan o'r wlad ganddynt, cyn tyfu o hono yn rhy gadarn, ac a fu farw. Ond fel yr oedd y rhan oreu o'r Parthiaid yn cyttuno, fod yn ammhossibl cael o honynt eu llywodraethu heb frenin; pan yr oedd yn arferol hefyd iddynt yn wastad ddethol un o dylwyth Arsaces, (ac nid oedd eu cyfraith yn caniattau neb arall; a meddyliasant fod y deyrnas hon wedi ei niweidio yn ddigonol eisoes, trwy briodi gordderchwraig Italaidd, a chau un o'i

* Num. xix. 11---14.

† Gallwn ddal sulw yma, yn gystal ag mewn rhannau gogyfartal o Hanes y Rhyf. II. 9, mai ar ol marwolaeth Herod fawr, a'i ddilyniad gan Archelaus, fod Josephus yn dra byr yn ei hanesion o Judea; hyd yn agos i'w amser ei hun. Meddyliaf mai y rheswm y syw, ar ol hanesiad helaeth Nicolaus o Damascus, yn cynnwys amgylchiad bywyd Herod; ac o bossibl ddilyniad, a gweithredoedd cyntaf ei feibion, nid allai fod ganddo ond ychydig hanesion cywir yr amserau hynny o'u blaen hwynt.

heppil hi;) danfonasant gennadwyr, a galwasant Orodes i gymmeryd y goron; canys ni wnai'r lliaws mewn modd arall eu goddef hwynt. Ac er achwyn arno megis yn un o greulondeb mawr, ac o dymmer afrywiog, a thueddol i lidio; etto er hyn yr ydoedd yn un o deulu Arsaces. Pa fodd bynnag hwy a fradwriasant i'w erbyn, ac a'i lladdasant ef; a hynny, fel y dywed rhai, mewn gwledd, ac ym mhlith eu haberthau: canys eu harfer yno yw dwyn eu cleddyfau gyd â hwynt. Ond yr hanes cyffredin yw, iddynt ei ladd wedi ei ddenu allan gyd â hwynt i helwriaeth. Felly hwy a ddanfonasant allan gennadwyr i Rufain: ac a ddymunasant arnynt ddanfon un o'u dewis bennaethiaid yno,i fod yn frenin arnynt. Yn ganlynol, Vonones a ddetholwyd o blith eraill, ac a ddanfonwyd yno. Canys yr oedd efe yn ymddangos yn gymmwys i sefyllfa mor fawr; pan oedd dwy o deyrnasoedd mwyaf tan haul yn awr yn cael eu cynnyg iddo, sef yr eiddo ei hun, ac un ddieithrol. Pa fodd bynnag, y barbariaid yn fuan a newidiasant eu meddyliau, oblegid eu bod wrth natur o dymmer gyfnewidiol; gan ddychymmygu nad oedd y dyn hwn yn deilwng i fod eu llywodraethwr. Canys ni allent feddwl am ufuddhau i orchymmyn un a fuasai yn gaethwas; canys felly y galwent y rhai a wystlwyd, ac ni allent oddef yr amharch o'r enw hwnnw: a hyn oedd yn fwy anoddefol, o herwydd yna rhaid fuasai i'r Parthiaid fod ganddynt y fath frenin ag a osodasid arnynt, nid trwy iawnder rhyfel, ond yn amser heddwch. Felly yn ebrwydd gwnaethant wahoddiad i Artabanus, brenin Media, i lywodraethu arnynt. Artabanus a gydsyniodd â'r cynnygiad a wnaethpwyd iddo, ac a ddaeth attynt gyd â'i fyddin. Felly Vonones a gyfarfu âg ef; ac ar y cyntaf lliaws y Parthiaid a safasant o'i du ef, ac efe a ddododd ei fyddin mewn agwedd filwraidd: ond Artabanus a gurwyd, ac efe a ffodd i fynyddoedd Media. Etto bu iddo ar ol hynny gasglu byddin fawr ynghyd i ymladd â Vonones, ac a'i curodd ef. Ar hyn y bu i Vonones ffoi ymaith ar farch, ac ychydig o'i osgordd gyd ag ef i Seleucia. Felly wedi i Artabanus wneud lladdfa fawr, a hynny yn ol iddo fuddugoliaethu, o achos y digalondid yr oedd y barbariaid ynddo, efe a aeth ymaith i Ctesiphon, gyd â nifer mawr o'i bobl; ac a deyrnasodd yn awr ar y Parthiaid.

Ond Vonones a ffodd ymaith i Armenia: a chyn gynted ag y daeth yno, yr oedd ganddo ddymuniad am i lywodraeth y wlad honno gael ei rhoddi iddo ef; ac a ddanfonodd gennadwyr i Rufain i'r diben hwnnw. Ond o herwydd i Tiberius ei gwrthod iddo, a'i ddiffyg o gefnogrwydd; ac am fod brenin y Parthiaid yn ei fygwth, ac yn danfon cennadwyr i ddatgan rhyfel i'w erbyn os ai ym mlaen; ac am nad oedd un ffordd i ail ynnill gwlad arall ganddo, (canys y bobl o ddyrchafiad ym mhlith yr Armeniaid, ac ynghylch Niphates, a ymgyssylltasant eu hunain âg Artabanus,) efe a roddodd ei hun i fyny i Silanus, rhaglaw Syria; pan y rhoddodd Artabanus Armenia i Orodes, un o'i feibion ei hun.

Ar yr amser hwn y bu farw Antiochus, brenin Commagene; pan aeth y lliaws i ymrysonâ'r penaethiaid; ac anfon cennadwyr gan bob un i Rufain. Canys y gwŷr mawrion oedd yn ewyllysio newid eu llywodraeth i ddull o dalaith Rufeinig; tra'r oedd y lliaws a'u dymuniad i fod tan frenhinoedd fel eu tadau o'r blaen. Felly y senedd a roddodd orchymmyn allan, fod i Germanicus gael ei ddanfon i sefydlu matterion y Dwyrain: a rhagluniaeth trwy hyn a gymmerodd achlysur i'w ddifeddiannu o'i fywyd. Canys wedi ei fod yn y Dwyrain, a threfnu pob achosion yno, ei fywyd a gymmerwyd ymaith trwy wenwyn, a roddasid iddo gan un Piso.

## PENNOD III.

*Am ymrysoniad yr Iuddewon yn erbyn Pontius Pilate; sylwiadau ymherthynas i Grist; a'r hyn a oddiweddodd Paulina a'r Iuddewon yn Rhufain.*

OND yn awr * Pilate, rhaglaw Judea, a symmudodd y fyddin o Cæsarea i Jerusalem, i auafu yno, mewn trefn i ddiddymmu'r cyfreithiau Iuddewig. Felly efe a ddygodd i mewn luniau Cæsar, y rhai oedd i'w gweled ar y baneriau, wedi ei gosod yn y ddinas: pan y mae'n cyfraith yn gwahardd i ni' wneuthur un math o luniau neu ddelwau. Ar ba gyfrif yr oedd y rhaglawiad o'r blaen yn arferol o ddyfod i mewn i'r ddinas â'r fath fanerau ag oedd heb yr addurniadau hyn arnynt. Pilate oedd y cyntaf a ddug y delwau hyn i Jerusalem, ac a'u gosododd i fynu yno; yr hyn a wnaethpwyd yn anadnabyddus i'r bobl, o her-

* B. A. 27.

wydd ei gwblhau yn y nos. Ond cyn gynted ag y gwybuont am dano, hwy a ddaethant yn lluoedd i Cæsarea, gan erfyn ar Pilate ddyddiau lawer am gymmeryd o hono ymaith y delwau. A phan na chaniattaodd eu dymuniad, o herwydd y tueddai hyn i wneud ammharch i Cæsar; ond tra'r oeddynt etto yn parhau i erfyn; ar y chwechfed dydd efe a orchymmynodd i'w filwyr fod â'u harfau yn ddirgel ganddynt, pan ddeuai i eistedd ar yr orseddfaingc: yr hon orsedd oedd wedi ei pharottoi felly yn y ddinas mewn lle cyhoeddus, fel y cuddid y fyddin ag oedd yn aros yn barod i'w gorthrymmu hwynt. Ac wedi i'r Iuddewon wneud eu herfyniau atto drachefn, fe roddodd arwydd i'r milwyr eu hamgylchu hwynt; gan fygwth na fyddai eu cospedigaeth ddim llai nâ marwolaeth ddioed, oddieithr iddynt roi i fynu ei aflonyddu ef, a myned i'w cartrefi eu hunain. Ond hwy a fwriasant eu hunain ar y llawr, gan ddinoethi eu gyddfau; a dywedyd eu bod yn cymmeryd eu lladd yn ewyllysgar, yn hytrach nac i gyfiawnder eu cyfreithiau gael ei droseddu. Ar yr hyn y cyffröwyd Pilate yn fawr â'u hymröad divsgog i gadw eu cyfreithiau yn ddihalog a di-drais. Felly fe orchymmynodd ddwyn y delwau yn ol o Jerusalem i Cæsarea.

Pilate yn awr a *gymmerodd yn llaw ddwyn dwfr rhedegog i Jerusalem; yr hyn a wnaeth â'r arian cyssegredig; ac a gafodd ddechreuad y ffrwd yn y pelldra o ddau cant o 'stadau. Pa fodd bynnag, ni fu'r † Iuddewon foddlon i'r hyn a wnaethpwyd ynghylch y dwfr hwn; ac amryw filoedd o'r bobl a ddaethant ynghyd, ac a rwgnachasant yn ei erbyn, ac a fynnent roddi o hono heibio yr amcan hwnnw. Rhai o honynt hefyd a arferent waradwyddiadau, ac a ammharchent y gwr, fel y mae llawer o'r cyfryw yn arferol o wneuthur. Felly fe wnaeth i nifer mawr o'i filwyr ymddieithro yn eu gwisgoedd, y rhai a ddygent gyd â hwynt gleddyfau tan eu dillad, ac a'u danfonodd i fan lle y gallent eu hamgylchu hwynt. Yna fe barodd i'r Iuddewon fyned ymaith: ond â hwy yn hyfion yn bwrw gwaradwyddiadau arno, efe a roddodd yr arwyddion hynny i'r milwyr. Yn ganlynol hwy a ymosodasant arnynt yn drymmach nag a orchymmynasai Pilate; ac a osodasant gospedigaeth yn gydradd ar y rhai oedd derfysglyd, a'r sawl nid oeddynt felly; ac ni arbedasant yn yr hyn lleiaf â'u difetha hwynt. A chan fod y bobl yn anarfog, a'u dal gan rai oedd wedi parottoi i'r hyn oeddynt yn ei gylch, nifer mawr o honynt a laddwyd ar yr achos hwn, ac eraill a ddiangasant ymaith yn archolledig. Ac fel hyn y dodwyd terfyn i'r ymryson hwn.

Yn awr, yr ydoedd ynghylch yr amser hwn Iesu, dyn doeth, os yw gymmwys ei alw ef yn ddyn; canys yr ydoedd yn wneuthurwr gwyrthiau mawrion; ac yn ddysgawdwr y cyfryw ddynion ag a dderbynient y gwirionedd gyd â hyfrydwch. Efe a ddug drosodd atto lawer o'r Iuddewon, ac amryw o'r Cenhedloedd. Efe ydoedd y Crist. Ac wedi i Pilate, trwy annogaeth y gwŷr pennaf yn ein mysg ni, ei farnu ef i'w ‡ groeshoelio; y rhai a'i hoffasant o'r dechreuad nid ymadawsant ag ef: canys efe a ymddangosodd iddynt yn fyw drachefn y § trydydd dydd, fel y darfu y prophwydi sanctaidd rag-fynegi y pethau hyn, a deng mil o bethau eraill yn mherthynas iddo. A'r tylwythau o Gristionogion, a enwir felly oddi wrtho ef, ni ddiddymwyd hyd y dydd hwn.

Ynghylch yr un amser ‖ hefyd, rhyw drallod blin a ddododd yr Iuddewon mewn annhrefn; a rhyw ymarferion cywilyddus a ddigwyddodd ynghylch teml Isis yn Rhufain. Cymmeraf sulw yn awr yn gyntaf ar yr autur ddrygionus ynghylch teml Isis; ac yna rhoddaf gyfrif o

* B. A. 28.

† Yr Iuddewon hyn, fel y gelwir hwynt yma, y rhai y tywalltwyd eu gwaed gan Pilate ar yr achos hwn, a allent fod yr Iuddewon Galileaidd hynny, gwaed pa rai a gymmysgasai Pilate â'u haberthau, Luc xiii 1, 2. Y terfysgau hyn a gyfodai yn fynych ar rai o'r gwyliau nodedig; a'r Galileaid yn gyffredin a arferent fod yn fwy blaenllaw yn y fath gythrwfl, na'r rhai o Judea a Jerusalem, fel yr ydym yn dysgu oddiwrth hanes Archelaus XVII. 9. Er yn wir nad yw presennol gopiau Josephus yn yngan gair am y dennaw hynny ar ba rai y syrthiodd y tŵr yn Siloam, yr hyn y mae'r bedwerydd adnod o'r drydydd bennod ar ddeg o St. Luc yn ein hyspysu am dano. Oni gan fod ein hefengyl yn addysgu i ni, Luc xxiii 6, 7, pan glybu Pilate am Galilea, efe a ofynnodd pa un a ydoedd yr Iesu yn Galilead? A phan gyntaf y clybu ei fod yn perthyn i lywodraeth Herod, efe a'i danfonodd atto ef. Adn. 12 Yr un dydd y gwnaethpwyd Pilate a Herod yn gyfeillion; canys o'r blaen yr oeddynt mewn gelyniaeth â'u gilydd. Cymmerwch allwedd gymmwys i'r geiriau hyn yn adroddiad y dysgedig Noldius, De Herod. No. 249. "Yr achos o'r gelyniaeth rhwng Herod â Pilate," eb efe, "a ymddengys fod yn hyn; ddarfod i Pilate ymyrru â rhyw achosion gwladwriaethol a berthynent i'r tetrarch, a lladd rhai o'i ddeiliaid Galileaidd, Luc xiii. 1 Ac fel yr oedd yn ewyllysio diwygio y cam-ymddygiad hwnnw efe a ddanfonodd Grist at Herod y pryd hwn."

D. S. Pan y mae Ottius, yn ei sylwiadau ar Josephus, yn argraphedig yn ail lyfr Havercamp, t. d. 305----323, yn dychymmygu o hyd fod Josephus wedi darllen llyfrau ein Testament Newydd, pan ysgrifennodd ei waith adnabyddus; a'i fod yn rhoddi arwyddion aml, eithr tywyll, o hynny: nid yw hyn yn ymddangos i mi mewn un modd yn wir, wrth ddarllen ei sylwiadau trosodd. Efe yn wir, megis Eboniad, a raid ei fod wedi darllen yr efengyl Nazareaidd, ond nid llyfrau y Testament Newydd.

‡ Ebrill 3, B. A. 33. § Ebrill 5. ‖ B. A. 33.

fatterion yr Iuddewon. Yr ydoedd dynes ieuangc yn Rhufain a elwid Paulina; un, ar gyfrif dyrchafiad ei hynafiaid, a'i hymddygiad rheolaidd, oedd ag iddi barchedigaeth mawr. Yr ydoedd hefyd yn dra chyfoethog. Ac er ei bod yn hardd ei hwynebpryd, ac ymlodau ei hoedran, pan y mae ieuengctyd yn ymddangos yn fwyaf eu gwychder; etto hi a arweiniodd fywyd syml a thra chymhedrol. Hi a briodwyd â Saturninus, un ag oedd ymhob modd yn cyfatteb iddi mewn gweddeidd-dra a rhinwedd. Decius Mundus, un o alwad uchel yn nhriniaeth meirch, a gwympodd mewn serch â'r wraig hon: ac fel yr oedd hi yn un o raddau rhy uchel i'w hudo âg anrhegion, ac eisoes a'u gwrthodasai, er eu danfon mewn amledd mawr iddi; yntau fyth a ennynodd yn fwy yn ei serch tu ag atti; yn gymmaint ag yr addawodd roi iddi ddau can mil o Attic drachmæ, am ei lettya un noswaith.

A phan na ynillwyd hi trwy hyn, ac na's gallai efe oddef yn hwy ei anffortnu yn ei ymgais, efe a benderfynodd newynu ei hun i farwolaeth, trwy ddiffyg lluniaeth, a hyn ar wybodiad Paulina o hono: ac efe a aeth ym mlaen â'i amcan yn ganlynol. Yn awr, yr oedd gan Mundus ddynes rydd, yr hon a ryddhasid gan ei dad, enw'r hon oedd Ide; un ddyfeisgar mewn pob math o ddrygioni. Hon oedd yn gofidio yn fawr o herwydd amcan y dyn ieuangc i'w ddifetha ei hun; (canys ni chadwodd hyn yn guddiedig oddiwrth eraill:) a hi a ddaeth atto ac a'i cefnogodd â'i hymddiddanion; ac a barodd iddo obeithio. trwy ryw addewid a wnaeth iddo, am lettŷa gyd â Paulina. A phan wrandawodd yn llawen arni, hi ddywedodd nad oedd eisiau ychwaneg na deng mil a deugain o drachmæ i faglu gwrthddrych ei serchogrwydd. Felly wedi iddi gefnogi y dyn ieuangc, a chael cymmaint o arian ag a ofynnodd, ni ddilynodd yr un drefn ag a gymmerasid o'r blaen, oblegid iddi weled na hudid y ddynes mewn un modd âg arian. Ond fel y gwyddai ei bod wedi ymroddi yn fawr i addoli y dduwies Isis, hi luniodd ynddi ei hun y ddyfais ganlynol. Hi aeth at rai o offeiriaid Isis; a thrwy addewidion cryfaf o gyfrinachrwydd, hi a'u perswadiodd â'i hymadroddion, ond yn bennaf trwy gynnyg pum mil ar hugain o drachmæ yn llaw, a chymmaint a hynny yn rhagor pan gymmero y peth le neu effaith: gan fynegi iddynt am awyddfryd y dyn ieuangc: a'u perswadio i arfer pob moddion a fyddai bossibl i dwyllo'r ddynes. Felly hi a'i tynnodd i wneud addewid o'i gwblhâu, a'r swm mawr o aur yr oeddynt i'w dderbyn. Yn ganlynol yr hynaf o honynt a aeth yn uniongyrch at Paulina; ac wedi cael caniattâd i ddyfod i mewn, dymunodd gael ymddiddan â hi wrthi ei hun. Wedi caniattau hynny iddo, dywedodd wrthi ddarfod ei ddanfon gan y duw Anubis, yr hwn oedd wedi syrthio mewn cariad â hi, ac a archodd iddi ddyfod atto. Ar hyn hi dderbyniodd y neges yn dra charedig: a chyfeisodd fod ei ffafr yn fawr trwy'r ymostyngiad hwn o'r duwiau atti hi: ac a ddywedodd i'w gwr, fod ganddi neges wedi ei ddanfon atti; a'i bod i swppera a chyd-orwedd gyd ag Anubis. Felly efe a foddlonodd i'w chydsyniad â'r cynnygiad, gan fod yn hyderus o ddiweirdeb ei wraig. Yn ganlynol hi aeth i'r deml; ac wedi swppera yno, a dyfod weithiau o'r awr i fyned i gysgu, yr offeiriad a ganodd ddrysau'r deml, pan yn y lle cyssegrol y diffoddwyd y goleuni. Yna y neidiodd Mundus i fyny, a hithau a fu at ei wasanaeth trwy'r holl nos, gan feddwl mai y duw ydoedd. Ac wedi ei fyned ymaith, yr hyn a fu cyn i'r offeiriaid na wyddent ddim am y peth yma ddihuno; Paulina a ddaeth yn forenol at ei gwr; ac a ddywedodd y modd yr ymddangosasai Anubis iddi. Ym mysg ei chyfeillion hefyd yr adroddodd, y fath werth mawr yr oedd yn ei osod ar y ffafr hon. Hwythau mewn rhan a anghredasant y peth, pan ystyriasant ei natur, ac mewn rhan a ryfeddasant wrtho, heb esgusodiad o herwydd ei anghred. Ond ar y trydydd dydd yn ol yr hyn a wnaethpwyd, Mundus a gyfarfu Paulina, ac a ddywedodd, "Yn ddiau Paulina, ti arbedaist i mi ddau can mil o drachmæ, pa ryw swm a allasit chwanegu i'th deulu dy hun. Etto ni fethaist fod at fy ngwasanaeth yn y modd y ceisiais gennyt. Am y gwaradwyddiadau a osodaist ar Mundus, nid wyf yn prisio mewn enwau; ond yr wyf yn llawenychu wrth y mwyniant a fedais trwy'r hyn a wnaethum, tra y cymmerais arnaf enw Anubis." Wedi iddo ddywedyd hyn efe a aeth ymaith i'w ffordd. Ond yn awr y dechreuodd hi ddyfod i deimlad o'r weithred gywilyddus

a wnaethai, gan rwygo ei dillad, a dywedyd wrth ei gwr am echryslonrwydd y ddyfais; a deisyf arno nad esgeulusai ei chynnorthwyo hi yn yr achos hwn. Felly efe a amlygodd y weithred i'r ymerawdwr. Ar hyn Tiberius a chwiliodd i mewn i'r matter yn gwbl, trwy holi'r offeiriaid yn ei gylch, a gorchymmyn eu croes-hoelio; yn gystal ag Ide hefyd, yr hon oedd yn achos o'r camwedd, ac a ddyfeisiasai y cyfan o'r drygioni hwn a fu mor niweidiol i'r wraig. Efe hefyd a ddadymchwelodd deml Isis; ac a orchymmynodd i'w delw gael ei thaflu i afon Tiber. Ond efe yn unig a alltudiodd Mundus; oblegid iddo ddychymmygu fod y bai a wnaethai yn tarddu oddiwrth nwydau serchogrwydd. Y rhai hyn oedd yr amgylchiadau a berthynent i deml Isis, a'r niweid a barwyd gan ei hoffeiriaid. Yr wyf yn awr yn dychwel at yr adroddiad o'r hyn a ddigwyddodd ynghylch yr amser hwn i'r Iuddewon yn Rhufain.

Yr oedd gwr yno o Iuddew; ond a yrrasid o'i wlad ei hun trwy achwyniad a osodwyd i'w erbyn o herwydd troseddu eu cyfreithiau, a thrwy'r ofn yr oedd tano o gospedigaeth am yr unrhyw, ond ym mhob ystyriaeth yn ddyn annuwiol. Ac efe gan hynny yn byw yn Rhufain, a gymmerodd arno hyfforddi dynion yng nghyfraith Moses. Efe a gafodd hefyd dri o ddynion eraill o'r un air ag ef ei hun, i fod yn gyfrannogion âg ef. Y dynion hyn a berswadiasant Fulvia, gwraig o raddau uchel, ac un a gofleidiasai y grefydd Iuddewig, i ddanfon porphor ac aur i'r deml yn Jerusalem. Ac wedi iddynt eu cael, hwy a'u defnyddiasant at eu hachosion, ac a wariasant yr arian eu hunain: i ba ddiben y bu iddynt eu gofyn yn gyntaf ganddi. Ar hyn Tiberius, yr hwn a wnaethid yn hyspys o'r peth gan Saturninus, gwr Fulvia, yr hwn a ddymunodd i holiad gael ei wneuthur yn ei gylch, a orchymmynodd i'r holl Iuddewon gael eu halltudio o Rufain. Ar ba amser y prif-swyddogion a restrodd bedair mil o wŷr allan o honynt, ac a'u danfonasant i ynys Sardinia; ond a gospasant rifedi mawr ag oedd anewyllysgar i fyned yn filwyr, ar gyfrif * cadwedigaeth cyfreithiau eu hynafiaid. Fel hyn y cafodd yr Iuddewon eu halltudio allan o'r ddinas trwy ddrygioni pedwar o ddynion.

## PENNOD IV.

*Am derfysg a wnaethpwyd gan y Samariaid; yr achwynion yn erbyn Pilate; a'r hyn bethau a gyflawnwyd gan Vitellius ymherthynas i'r Iuddewon a'r Parthiaid.*

OND ni ddiangodd cenedl y Samariaid rhag terfysgoedd: a'r dyn a'u cynnyrfodd i hynny ydoedd un ag a gyfrifodd gelwydd yn beth o ychydig ganlyniad: yr hwn a ddyfeisiodd bob peth felly, fel ag y byddai wrth fodd y lliaws. Felly efe a barodd iddynt fyned ynghyd ar fynydd Gerizzim; yr hwn, ganddynt hwy, a ystyrir yn fwyaf cyssegredig o'r holl fynyddoedd; ac a sicrhaodd, mai pan ddenent yno, y dangosai iddynt y llestri cyssegredig a ddodasid tan y lle hwnnw, o herwydd eu dodi yno gan Moses. Felly hwy a ddaethant yno yn arfogion, ac a gyfrifasant eiriau y dyn yn wir. Ac fel yr oeddynt yn aros yn rhyw bentref, yr hwn a elwid Tirathaba, hwy a gawsant y lleill ynghyd attynt, ac a ddymunasant fyned i fynu i'r mynydd yn lliaws mawr. Ond Pilate a ragflaenodd eu mynediad i fynu, trwy oresgyn y prif-ffyrdd â lliaws mawr o wŷr meirch a gwŷr traed, a syrthio ar y rhai a ddaethant ynghyd i bentref; a phan nesasant i ymladdfa, rhai o honynt a laddasant, ac eraill a ddodasant i ffoi, ac a gymmerasant amryw yn fyw; y rhai pennaf, ac hefyd y rhai galluoccaf o'r sawl a ffoisant ymaith, Pilate a orchymmynodd eu lladd.

Wedi llonyddu y terfysg hwn, y Samariaid a ddanfonasant gennadwriaeth at Vitellius, gwr a fuasai yn brif-swyddog, a'r hwn oedd yn awr yn rhaglaw Syria, gan gyhuddo Pilate o lofruddiaeth y rhai a laddwyd: oblegid nad oeddynt hwy yn myned i Tirathaba mewn trefn i encilio oddiwrth y Rhufeiniaid, ond i ddiangc rhag

* Am alltudiad y 4000 o Iuddewon hyn i Sardinia gan Tiberius, gwel Suetonius in Tiber. § 36. Ond am nôd Mr Reland yma, ag sy'n golygu na aliai'r Iuddewon, yn gydunol a'u cyfreithiau, fod yn filwyr; fe'i gwrthwynebir gan un gangen o'r hanes o'u blaen; ac sydd yn wrthwyneb i aneirif siamplau o'u hymladdfeydd, a'u prawf o fod yn filwyr odiaethol mewn rhyfel: ac yn wir llawer o'r rhai goreu o honynt, ie tan frenhinoedd cenhedlig eu hunain, a brofasant felly; y rhai yr wyf yn ei feddwl a ganiattaodd iddynt orphwys ar y dydd sabboth, a chadw gwyliau nodedig eraill; a thrwy adael iddynt fyw yn ol eu cyfreithiau eu hunain; megis y darfu i Alexander Fawr, a Ptolemiaid yr Aipht. Mae'n wir na allent bob amser fwynhau y rhagorfreintiau hyn, ac yna'r ymesgusodent fel ag y gallent; neu ar brydiau a ommeddent ymladd yn bendant: yr hyn a ymddengys fod yr achos yma, ymherthynas i'r rhan fwyaf o'r Iuddewon yn awr a alltudiwyd; ond dim yn rhagor. Gwel yr amryw orchymmynion neu ddeddfau Rhufeinig, yn eu plaid hwynt, XIV. 10.

trais Pilate. Felly Vitellius a ddanfonodd Marcellus, yr hwn oedd gyfaill iddo, i gymmeryd gofal matterion Judea, gan orchymmyn i Pilate fyned i Rufain, i atteb o flaen yr ymerawdwr i gyhuddiadau y Samariaid. Felly Pilate, wedi aros o hono ddeng mlynedd yn Judea, a frysiodd i Rufain; a hynny mewn ufudd-dod i orchymmyn Vitellius, yr hwn ni feiddiai ei wrthwynebu. Ond cyn iddo allu dyfod i Rufain, Tiberius a fuasai farw.*

Ond Vitellius a ddaeth i Judea, ac a aeth i fynu i Jerusalem. Yr ydoedd ar amser yr ŵyl honno a elwid y Pasg. Vitellius a dderbyniwyd yno mewn modd aurhydeddus, ac a ryddhaodd drigolion Jerusalem oddiwrth bob trethoedd ar ffrwythau a brynid ac a werthid: a chaniattaodd iddynt gymmeryd gofal gwisgoedd yr offeiriaid, gyd â'u holl addurniadau; a'u gosod tan gadwraeth yr offeiriaid yn y deml; yr hon awdurdod a berthynai gynt iddynt; er eu bod y pryd hwn wedi eu dodi i fynu yn nhŵr Antonia, a hynny ar yr achos canlynol. Yr ydoedd un o'r archoffeiriaid a elwid Hyrcanus; ac fel y bu amryw o'r enw hwnnw efe oedd y cyntaf o honynt. Y gwr hwn a adeiladodd dŵr yn agos i'r deml: ac ar ol iddo wneuthur hynny, efe yn gyffredin a drigai yno, ac ydoedd â'r gwisgoedd hyn ganddo, o herwydd bod yn gyfreithlon iddo ef yn unig eu dodi am dano: ac efe a'u dodai ynghadw yno pan elai i lawr i'r ddinas, ac yr ymwisgai â'i ddillad cyffredin. Yr unrhyw arferiad a ddilynid gan ei feibion, a chan yr eiddynt hwythau ar ol hynny. Ond pan ddaeth Herod i fod yn frenin, efe a ail-adeiladodd y tŵr, yr hwn oedd gyfleus ei sefyllfa, mewn modd mawrwych: ac o herwydd ei gyfeillach âg Antonius, fe'i galwodd wrth yr enw Antonia. Ac megis y cafodd y gwisgoedd hyn yn gorwedd yno, efe a'u cadwodd hwynt yn yr un fan; megis yn credu mai tra byddent tan ei gadwraeth ef, na wnai'r bobl un gwrthwynebiad yn ei erbyn. Cyffelyb i'r hyn a wnaeth Herod, a wnaethpwyd gan ei fab Archelaus, yr hwn a wnaed yn frenin ar ei ol ef: ac yn ol pa un y Rhufeiniaid, pan ddaethant i mewn i'r llywodraeth a gymmerasant feddiant o'r gwisgoedd hyn a berthynent i'r archoffeiriaid, ac a'u dodasant ynghadwraeth mewn ystafell faen, o tan sêl yr offeiriaid, a cheidwaid y deml; a chadben y gwarchawdlu a oleuai y llusern bob dydd. A saith niwrnod o flaen yr ŵyl hwy a draddodid iddynt gan yr un swyddog: pan fyddai i'r archoffeiriad wedi eu paro, a gwneud defnydd o honynt, eu rhoddi i gadwraeth drachefn yn yr un 'stafell ag y buasent o'r blaen, a hynny y dydd nesaf ar ol i'r ŵyl fyned trosodd. Dyma oedd yr arfer ar ol y tair ŵyl flynyddol, ac ar y dydd ympryd. Ond Vitellius a roddodd y gwisgoedd yma tan ein llywodraeth ein hunain, megis yn nyddiau ein hynafiaid: ac a orchymmynodd i gadben y filwriaeth na phoenai ei hun trwy ymofyn pa le y dodid hwynt, neu pa bryd y gwnaed arferiad o honynt: a hyn a wnaeth fel gweithred o gymmwynasgarwch i foddhau y genedl. Efe hefyd a ddifeddiannodd Joseph, yr hwn a elwid Caiaphas, o'r archoffeiriadaeth; ac a appwyntiodd Jonathan, mab Ananus, y blaenorol archoffeiriad, ar ei ol ef. Wedi hyn efe a gymmerodd ei daith yn ol i Antioch.

Ymhellach, Tiberius a ddanfonodd lythyr at Vitellius, gan orchymmyn iddo wneud cyngrair o gyfeillgarwch âg Artabanus, brenin Parthia. Canys tra'r ydoedd yn elyn iddo efe a'i dychrynasai, o herwydd cymmeryd o hono Armenia ymaith oddiarno, rhag iddo fyned ymhellach: ac a ddywedodd na ddylai mewn modd amgen ymddiried iddo ond trwy roddi rhai o'i bennaethiaid yn wystlon neu feichnafon, ac yn enwedig ei fab Artabanus. Ar waith Tiberius yn ysgrifennu fel hyn at Vitellius, trwy gynnyg anrhegion mawr o arian, efe a berswadiodd frenin † Iberia, a brenin Albania, i ymladd yn erbyn Artabanus: ac er na wnaent hynny eu hunain, etto hwy a ganiattasant ffordd i'r Scythiaid ddyfod trwy eu gwlad, gan agor pyrth Caspian iddynt, a'u dwyn at Artabanus. Felly Armenia a gymmerwyd oddiwrth y Parthiaid, a'u gwlad a lanwyd â rhyfel, a'u gwŷr pennaf a laddwyd, a phob peth oedd mewn annhrefn yn eu mysg: mab y brenin hefyd a syrthiodd yn y rhyfeloedd hyn, ynghyd ag amryw filoedd o'i fyddin. Vitellus hefyd a ddanfonasai y fath fesur o arian i garennydd tad Artabanus, a'i gyfeillion, fel y bu

* Mawrth 16, B. A. 37.

† Cymmerwch yma eirian Tacitus, yn cadarnhau yr hanes hwn o'r presennol ddarlleniad yn Josephus. "Yr Iberiaid," eb efe, "wedi iddynt gymmeryd y wlad, a ddanfonasant allan trwy ffordd Caspian, y Sarmatians, a cheuedl y Scythiaid yn erbyn yr Armeniaid;" fel y'r amlyga Dr. Hudson i ni.

agos a chael ei lladd trwy'r moddion o'r gwobrwyan hyn y rhai a gymmerasant. A phan welodd Artabanus na's gallai ochelyd y brad a osodwyd i'w erbyn, o herwydd ei osod gan y pennaethiaid, a'r rhei'ny yn llawer o rifedi, ac y byddai sicr o gymmeryd lle;pan ystyriodd hefyd nifer y rhai oedd wir ffyddlon iddo ef; ac hefyd amlder y rhai a lygrasid eisoes, ond a oeddynt dwyllodrus yn eu caredigrwydd ymddangosiadol iddo ef; ac yn debyg, ar brofiad, o fyned trosodd at ei elynion, gwnaeth ei ddiangfa i'r taleithiau uchaf; pa le yn ol hynny y cyfododd fyddin fawr allan o'r Dahæ a'r Sacæ; ac efe a ymladdodd â'i elynion, ac a gadwodd ei dywysogaeth.

Wedi i Tiberius glywed am y pethau hyn, dymunodd i gyngrair o heddwch gael ei wneuthur rhyngddo ef ag Artabanus. A phan ar y gwahoddiad hwn, y derbyniodd yn garedig y cynnygiad, Artabanus a Vitellius a aethant i Euphrates; ac fel y gosodwyd pont tros yr afon, daeth pob un o honynt â'i warchawdlu o'i amgylch,ac a gyfarfuont â'u gilydd ar ganol y bont. A phan gyttunasant ar ammodau heddwch, Herod y tetrarch a gododd babell ardderchog ar ganol eu tramwyfa, ac a wnaeth wledd yno. Artabanus hefyd, cyn nemmor o amser, a ddanfonodd ei fab Darius, fel gwystl neu feichnïydd, gyd â llawer o anrhegion, ym mysg pa rai yr oedd dyn saith gufydd o uchder. Hwn ydoedd Iuddew wrth enedigaeth, a'i enw oedd Eleazar, yr hwn a elwid yn gawr, o herwydd ei uchder. Yn ol hyn aeth Vitellius i Antioch, ac Artabanus i Babilon. OndHerod y tetrarch yn ewyllysio rhoddi i Cæsar yr hyspysrwydd cyntaf o ddarfod iddynt gael gwystlon, a ddanfonodd redegwyr gyd â llythyrau, ym mha rai y descrifiodd yn gywrain yr holl bethau neillduol; heb adael dim i'r llywydd Vitellius i'w hyspysu yn ei gylch. Ond wedi danfon llythyron Vitellius, a darfod i Cæsar adael iddo wybod ei fod yn hyspys o'r matterion eisoes, o herwydd i Herod roddi hyspysrwydd o honynt o'r blaen, Vitellius ydoedd dra anesmwyth ei feddwl o'i blegid; a chan feddwl ei fod wrth hynny yn fwy colledwr nag ydoedd,efe a gadwodd ddirgel ddigofaint ar yr achos hwn, hyd onid allai ddial o'i herwydd; yr hyn a wnaeth yn ol i Caius gymmeryd y llywodraeth.

Ynghylch y pryd hwn Phylip brawd Herod a fu farw, yn yr * ugeinfed flwyddyn o deyrnasiadTiberius,yn ol iddo fod yn detrarchTrachonitis a Gaulanitis, a chenedl y Bataneaid, ddwy flynedd ar bymtheg ar hugain. Efe a ddangosasai ei hun yn ŵr o gymmedroldeb a thawelwch mawr, yn ystod ei fywyd a dull ei lywodraeth. Efe a fu byw yn wastadol yn y wlad oedd ddarostyngol iddo; ac a arferai ddwyn ei achosion ym mlaen gyd ag ychydig o'i ddewisol gyfeillion. Ei gyngoriaid hefyd, ym mysg pa rai yr eisteddai i farnu, a ddilynasant ei arferiad ef. A phan gyfarfyddai rhyw un ag oedd ef mewn diffyg o'i gynnorthwy, ni oedai ddim; ond a wnai esteddiad gyd â'i gyngor yn ebrwydd, pa fan bynnag y digwyddai fod, i wrando'r achwynion. Yno y gorchymmynai i'r cyhuddedig gael ei gospi, ac y gollyngai y rhai a gyhuddid yn anghyfiawn. Bu farw yn Julias: a phan ddygwyd i'r beddrod a barottodd o'r blaen iddo ei hun, efe a gladdwyd gyd ag anrhydedd mawr. Ei dywysogaeth a gymmerwyd gan Tiberius, (canys ni adawodd ddim meibion ar ei ol,) ac a'i chwanegodd at dalaith Syria; ond a orchymmynodd fod i'r deyrnged a gyfodai oddiwrthi gael ei gasglu, a'i ddodi i fynu yn y dalaith honno.

## PENNOD V.

*Am y rhyfel rhwng Herod y tetrarch, ac Aretas brenin Arabia; hefyd am farwolaeth Ioan Fedyddiwr; a dyfodfa Vitellius i Jerusalem; gyd â pheth hanes Agrippa, ac am hiliogaeth Herod Fawr.*

YNGHYLCH yr † amser hwn, Aretas brenin Arabia Petrea, a Herod, a ymrafaeliasant ar yr achos canlynol. Herod a briodasai ferch Aretas, ac a fuasai byw gyd â hi amser hir. Ond pan ydoedd unwaith yn Rhufain, efe a lettŷodd gyd â ‡ Herod, yr hwn ydoedd ei wir

* Y cyfrifiad yma o gopiau Groegaidd Josephus, sydd dra chywir. Gan ddarfod i Herod farw ynghylch mis Medi, yn y bedwaredd flwyddyn o flaen y cyfrif Cristionogol; a dechreu o Tiberius, fel y gwyddis yn dda, Awst 19. B. A. 14; mae'n amlwg mae'r 37 mlwydd o amser Phylip wedi ei chyfrif o farwolaeth ei dad, ydoedd yr 20 flwyddyn i Tiberius; neu yn agos i ddiwedd B. A. 33, sef blwyddyn marwolaeth ein Hiachawdwr; neu pa fodd bynnag yn nechreu B.A. 34. Phylip y tetrarch hwn a ymddengys yn un o'r rhai goreu o hiliogaeth Herod, o ran ei gariad i heddwch a chyfiawnder.

† B. A. 36.

‡ Yr Herod hwn a ymddengys fod iddo'r enw chwanegol o Phylip, fel y gelwid Antipas yn Herod Antipas. Ac fel y gallai Antipas ac Antipater, mewn ystyr fod yr un enw, etto hwy a oeddynt enwau dau o feibion Herod Fawr: felly y gallai Phylip y tetrarch a'r Herod Phylip hwn fod yn ddau fab gwahanol o'r un tad; yr hyn oll y mae Grotius yn

frawd, ond nid o'r un fam: canys yr Herod yma ydoedd fab merch Simon yr archoffeiriad. Pa fodd bynnag efe a syrthiodd mewn cariad â Herodias, gwraig yr Herod diweddaf hwn, yr hon oedd ferch Aristobulus ei brawd, a chwaer Agrippa Fawr. Y dyn hwn a anturiodd siared â hi ynghylch priodas rhyngddynt; yr hwn gyfarchiad pan gydsyniodd hi âg ef, gwnaethpwyd cyttundeb ar iddi newid ei thrigfan, a dyfod atto ef, cyn gynted ag y dychwelai o Rufain. Un ammod o'r briodas hon hefyd ydoedd, a'r fod iddo ysgar â merch Aretas. Felly Antipas, wedi gwneuthur y cyttundeb hwn, a fordwyodd i Rufain. Ac wedi iddo orphen sefydlu yr achos a aethai yn ei gylch, a dychwelyd drachefn; ei wraig wedi cael amlygrwydd o'r cyttundeb a wnaethai â Herodias, a'i wybod ganddi cyn iddo ef ddeall hynny; hi ddymunodd arno ei danfon i Macherus, yr hwn sydd le ar derfynau llywodraeth Aretas a Herod, heb hyspysu iddo ef ei hamcanion. Yn ganlynol Herod a'i danfonodd yno; heb feddwl fod ei wraig wedi canfod dim o'i amcan. Yn awr, hi ddanfonasai o'r blaen i Macherus, lle ag oedd ddarostyngedig i'w thad: ac felly pob peth a barottoisid i'w siwrnai gan flaenor byddinoedd Aretas; a thrwy'r moddion hynny hi ddaeth yn fuan i Arabia, tan arweiniad yr amryw gad-flaenoriaid; y rhai a'i danfonai o'r naill at y llall yn olynol; a hi a gyrhaeddodd ar fyrder at ei thad, ac a fynegodd iddo amcan Herod. Felly Aretas a wnaeth hwn yn achos cyntaf o'i elyniaeth at Herod; yr hwn oedd ganddo hefyd ryw ddadl âg ef ynghylch eu terfynau yngwlad Gamalitis. Felly hwy a godasant fyddinoedd ar bob ochr, ac a ymbarottoisant i ryfel; gan ddanfon eu cad-flaenoriad i ymladd yn lle eu hunain. Ac wedi iddynt ym gyssylltu mewn brwydr, * holl fyddin Herod a ddifethwyd trwy fradwriaeth rhyw grwydraid; y rhai er perthyn o honynt i daleithiau Phylip, a ymgyssylltasant â byddin Herod. Felly Herod a ysgrifennodd ynghylch y matterion hyn at Tiberius; yr hwn ag efe yn ddigofus wrth yr hyn a wnaeth Aretas, a ysgrifennodd at Vitellius, rhaglaw Syria, i wneud rhyfel ag ef: ac un ai ei gymmeryd yn fyw, ai ei ddwyn atto ef mewn rhwymau; neu ei ladd, ac anfon iddo ef ei ben.

Yn awr, rhai o'r Iuddewon a feddyliasant ddyfod y distryw hwn ar fyddin Herod oddiwrth Dduw: a hynny yn dra chyfiawn fel cospedigaeth am yr hyn a wnaeth yn erbyn Ioan, yr hwn a elwid yn Fedyddiwr. Canys Herod a'i lladdasai ef yr hwn ydoedd ddyn da, ac yn gorchymmyn yr Iuddewon i ymarfer rhinwedd, yn gystal o ran eu cyfiawnder at eu gilydd, a'u crefydd tu ag at Dduw; ac felly i ddyfod i fedydd; am y byddai eu golchiad mewn dwfr yn gymmeradwy iddo, os gwnaent ddefnydd o hono; nid mewn trefn i roddi heibio, neu gael maddeuant am rai pechodau yn unig, ond er puredigaeth eu corph; gan olygu ddarfod puro'r enaid ym mlaenllaw yn gwbl eisoes, trwy gyfiawnder. Yn awr, pan ddaeth amryw eraill yn dorfeydd o'i amgylch; canys hwy a gynhyrfwyd neu a foddhawyd yn fawr â gwrandawiad ei eiriau; Herod, yr hwn oedd yn ofni rhag i'r awdurdod oedd gan Ioan ar y bobl, ddodi yn ei allu, a'i ogwyddo hefyd at godi gwrthryfel, (canys yr oeddynt yn ymddangos yn barod i wneud pa beth bynnag a gynghorai efe;) a dybiodd yn oreu trwy ei roddi ef i farwolaeth, i ragflaenu rhyw ddrygau a allai efe fod yn achos o honynt; ac nid dwyn ei hun i flinder trwy oddef dyn ag a allai beri iddo edifarhau o'i herwydd pan fyddai yn rhy ddiweddar. Yn ganlynol efe a ddanfonwyd yn garcharwr oddiar ddrwg-dybiau Herod, i Macherus, y castell a grybwyllais eisoes, ac yno y rhoddwyd ef i farwolaeth † Yn awr yr oedd tybiau gan yr Iuddewon, ddarfod i ddinystr y fyddin hon gael ei ddanfon fel cosp ar Herod, a nôd o anfoddlonrwydd Duw tu ag atto.

Felly Vitellius a ymbarottodd i wneud rhyfel âg Aretas, a chanddo gyd ag ef ddwy fil o wŷr arfogion ‡ Efe hefyd a gymmerodd gyd ag ef yr holl wŷr traed, a'r gwŷr meirch perthynol iddynt, y rhai a gasglwyd allan o'r teyrnasoedd hynny oedd tan y Rhufeiniaid; gan wneuthur brys i ddyfod i Petra, ac i Ptolemais. Ond fel yr oed[illegible] yn ymdaith yn dra phrysur, ac yn ar-

ei sylwi ar Matth. xiv 5. Ac nid ydoedd, fel yr wyf yn cyttuno â Grotius, ac eraill o'r dysgedigion, Phylip y tetrarch; ond yr Herod Phylip hwn, gwraig pa un a briododd Herod y tetrarch, a hynny [illegible] bywyd ei gwr cyntaf, a phan fuasai iddo etifeddi[illegible] o honi. Am ba ryw briodas odinebus ac [illegible]lo gach[illegible] ceryddwyd Herod y tetrarch gan Ioan Fedyddiwr; ac am ba gerydd Salome, merch Herodias o'i gwr cyntaf, Herod Phylip, yr hwn oedd etto yn fyw, a fu'n achos yn anghyfiawn o dorri ei ben ef.

* Moses Chorenensis sy'n cyfrif y fuddugoliaeth fawr hon o eiddo Aretas, mewn rhan i'r cymmorthwy a ddanfonwyd iddo gan Agbarus o Edessa. Gwel y llr, t. d. 130, 131.

† Ynghylch Chwefror, B. A. 32. ‡ B. A. 36.

wain ei fyddin trwy Judea, y penaethiaid a'i cyfarfu ef; ac a ddymunasant na ymdeithiai y modd hwnnw trwy eu tir hwynt. Oblegid na fyddai i gyfreithiau eu gwlad ganiattau iddynt edrych heibio i'r delwau a ddygid i'w tir hwynt, o ba rai yr oedd amryw yn weledig ar eu banerau. Felly efe a berswadiwyd trwy'r hyn a ddywedasant; ac a newidiodd y bwriad oedd ganddo o'r blaen yn yr achos hwnnw. Yn ganlynol efe a orchymmynnodd i'r fyddin dramwy ar hyd y gwastadedd mawr: pan aeth efe ei hun gyd â Herod y tetrarch, a'i gyfeillion, i fynu i Jerusalem, i offrymmu aberth i Dduw, a gwyl arbennig yr Iuddewon y pryd hynny yn agoshau. Ac wedi ei roesawi yn barchus gan liaws yr Iuddewon, efe a arhosodd yno dri diwrnod: ym mha amser efe a ddifuddiodd Jonathan o'r archoffeiriadaeth, ac a'i rhoddodd i'w frawd Theophilus. Ond pan ar y pedwerydd dydd, y daeth llythyrau atto am farwolaeth Tiberius, efe a wnaeth i'r lliaws gymmeryd llw o ffyddlondeb i Caius. Efe hefyd a ddanfonodd am ei fyddin yn ol, ac a wnaeth iddynt fyned bawb i'w trigfannau eu hunain, a gauafu yno; gan, ar ddyfodiad Caius i'r ymerodraeth, nad oedd ganddo yr un awdurdod i wneuthur rhyfel ag o'r blaen. Yr ydoedd sôn hefyd, pan glywodd Aretas am ddyfodiad Vitellius i ymladd âg ef, iddo ddywedyd ar ei waith yn ymgynghori â'r dewiniaid ei fod yn ammhossibl i'r fyddin honno o'r eiddo Vitellius ddyfod i mewn i Petra. Oblegid y byddai i un o'r llywyddion farw; sef yr hwn a orchymmynodd y rhyfel, neu'r hwn oedd yn ymdaith wrth gyfarwyddyd un arall, i'r diben i ymostwng i'w ewyllys: neu ynte efe yn erbyn pa un y parottowyd y fyddin hon. Felly Vitellius a aeth i Antioch: ond Agrippa, mab Aristobulus, a aeth i fynu i Rufain, un flwyddyn cyn marw Tiberius; i'r diben i drefnu rhyw fatterion gyd â'r ymerawdwr, os caniattäid iddo wneuthur hynny.

Mi adroddaf yn awr am fatterion Herod a'i deulu; mewn rhan o herwydd ei fod yn addas i'r hanes yma i lefaru ynghylch yr achos hwnnw; ac mewn rhan o herwydd fod y peth hwn yn ddangosiad o weithrediad rhaglunniaeth; y modd nad yw amlder o blant o unrhyw fantais, yn fwy nag un cadernid arall a esyd dynolryw eu hyder ynddynt; heblaw y gweithredoedd o dduwioldeb a gyflawner tu ag at Dduw. Canys fe ddigwyddodd o fewn i gylch-dro cant o flynyddau, i hiliogaeth Herod, y rhai oeddynt dra lliosog, oddigerth ychydig gael eu hollol * ddifetha. Gall un wneuthur cymmwysiad defnyddiol o hyn er addysg i ddynolryw; a dysgu deall oddi yma mor annedwydd oeddynt. Dengys i ni hefyd hanes Agrippa; yr hwn fel yr oedd yn ddyn teilwng o'i goffa; felly y cafodd o ddyn neilldnedig, tu hwnt i ddisgwyliad y rhai a'i hadwaenent, ei dderchafu i allu ac awdurdod mawr. Dywedais ryw gymmaint am danynt o'r † blaen; ond traethaf yn awr am danynt yn fanylach.

I Herod Fawr yr ydoedd dwy ferch, o Mariamne, wyres Hyrcanus. Un ydoedd Salampsio yr hon a briodwyd â Phasaelus ei chefnder, mab Salome, chwaer Herod. Phasaelus ydoedd ag iddo bump o blant o Salampsio, Antipater, Herod, Alexander; a dwy o ferched, Alexandra a Cypros; yr hon ddiweddaf un a briododd Agrippa, mab Aristobulus. A Timius o Cyprus a briododd Alexandra: yr oedd efe yn ŵr o hynodrwydd, ond ni bu iddo o honi hi ddim plant. I Agrippa o Cypros y bu dau fab, a thair merch; pa ryw ferched a elwid Bernice, Mariamne, a Drusilla; ond enwau y meibion oedd Agrippa a Drusus; yr hwn ddiweddaf un a fu farw cyn iddo ddyfod i oedran gwr. Ond eu tad Agrippa a ddygasid i fynu gyd â'i frodyr eraill, Herod ac Aristobulus: canys y rhai hyn hefyd oeddynt feibion i feibion Herod Fawr, o Bernice. Ond Bernice ydoedd ferch Costobarus a Salome, yr hon ydoedd chwaer Herod. Aristobulus a adawodd y rhai hyn yn fabanod, pan laddwyd ef gan ei dad, ynghyd â'i frawd Alexander, ‡ fel yr adroddasom eisoes. Ond pan gyrraeddasant flynyddau oedran a rheswm, yr Herod hwn, brawd Agrippa, a briododd Mariamne, merch Olympias, yr hon oedd ferch Herod y brenin, a Joseph fab Joseph, yr hwn oedd frawd i'r brenin; ac yr oedd o honi iddo ef fab a elwid Aristobulus. Ond

* Pa un ai nid ydoedd y diflaniad hwn agos o holl hiliogaeth Herod Fawr, y rhai oeddynt dra lliosog, mewn rhan yn farn neu gospedigaeth, am yr ymlosgach yr oeddynt yn euog o hono, trwy briodi eu neient a'u nithoedd eu hunain, a haeddai gael ei ystyried. Gwel Lefit. xviii. 6, 7 xxi 10. A Noldius De Herod, No. 269, 270.

† Gwel Llyfr. xvii. 1. ‡ Llyfr xvi. 17.

Aristobulus, trydydd frawd Agrippa, a briododd Jotape, merch Sampsigeramus, brenin Emesa.* Iddynt hwy yr oedd merch fyddar, enw'r hon hefyd ydoedd Jotabe: a'r rhai hyn hyd yma ydoedd blant o'r lin wrrywaidd. Ond Herodias eu chwaer a briododwyd â Herod,† mab Herod y mwyaf, yr hwn a anwyd o Mariamne, merch Simon, yr archoffeiriad, yr hwn oedd iddo ferch, Salome. Yn ol genedigaeth pa un Herodias a gymmerodd arni gymmysgu cyfreithiau ein gwlad, ac a ysgarodd ei hun oddi wrth ei gwr tra'r ydoedd yn fyw, ac a briodwyd â ‡Herod, brawd ei gwr, o du y tad, a thetrarch Galilea. Ond ei merch Salome a briodwyd â Philip, mab Herod, a thetrarch Trachonitis. Ac fel y bu efe farw yn ddiblant, Aristobulus, mab Herod, brawd Agrippa, a'i priododd hi. Yr oedd iddynt dri o feibion, Herod, Agrippa, ac Aristobulus. A'r rhai hyn oedd hiliogaeth Phasaelus, a Salampio. Ond merch Antipater o Cypros, oedd Cypros, yr hon a briododd Alecsas Celcias, mab Alecsas. Yr oedd ganddynt hwy ferch a'i henw Cypros.§ Ond Herod ac Alexander, y rhai fel y dywedasom, oeddynt frodyr Antipater, a fuont feirw yn ddiblant. Ymherthynas i Alexander, mab Herod y brenin, yr hwn a laddwyd gan ei dad, yr oedd iddo ef feibion, Alexander, a Tigranes, o ferch Archelaus brenin Cappadocia. Tigranes, yr hwn oedd frenin Armenia, a gyhuddwyd yn Rhufain, ac a fu farw yn ddi-blant. Alexander oedd iddo fab yr un enw a'i frawd Tigranes; ac a ddanfonwyd i gymmeryd meddiant o deyrnas Armenia gan Nero. Yr oedd mab iddo ef, sef Alexander, yr hwn a briododd Jotabe, merch Antiochus, brenin Commagena. Vespasian a'i gwnaeth ef yn frenin ar ynys yn Cilicia. Ond yr hiliogaeth yma o Alexander yn fuan ar ol eu mabandod a adawsant y grefydd Iuddewig, ac a aethant trosodd at yr un hynny o eiddo 'r Groegiaid. Ond am eraill o ferched Herod y brenin, digwyddodd iddynt hwy farw yn ddi-blant. Ac fel yr oedd yr eppill yma o Herod, y rhai a rifasom, mewn bod ar yr un amser ag y darfu i Agrippa y mwyaf gymmeryd y deyrnas, ac y rhoddais yn awr hanes o honynt; y mae'n aros i'm adrodd am yr amrywiol gyfnewidiadau a ddigwyddodd i Agrippa, ac fel yr aeth trwyddynt, ac y derchafwyd ef i'r radd uchaf o fawredd ac awdurdod.

## PENNOD VI.

*Am for-daith y Brenin Agrippa i Rufain, at Tiberius Cæsar; ei garchariad trwy gyhuddiad un o'i wŷr rhyddion; ei ryddhad gan Caius, wedi marw Tiberius; a'i dderchafiad i detrarchiaeth Phylip.*

YCHYDIG cyn marw Herod y || brenin, Agrippa a fu byw yn Rhufain; ac yn gyffredin a ddygid i fynu gyd â Drusus, mab Tiberius yr ymerawdwr; ac a dynnodd gyfeillach ag Antonia, gwraig Drusus y mwyaf: yr hwn oedd â chan ddo ei fam Bernice mewn parch mawr, ac ydoeddyn chwennych peri derchafiad i'w mab. Yn awr fel yr oedd Agrippa yn fawrfrydig ac yn haelionus yn yr anrhegion a wnaeth, tra'r oedd ei fam yn fyw, ni ymddangosodd ynddo y tuedd hwn, fel y gallai ochelyd ei hanfoddlonrwydd am y cyfryw afradlondeb. Ond wedi marw Bernice, a'i adael yntau i'w lywodraethiad ei hun, efe a wariodd lawer beunydd yn ei ffordd afradlon o fywiolaethu, ac yn yr anrhegion anghymmedrol a wnai efe; a hynny yn bennaf ym mysg gwŷr rhyddion Cæsar, mewn trefn i gael eu cynnorthwy: yn gymmaint ag y darfu iddo ym mhen ychydig amser gael ei ddarostwng i dlodi, fel na allai fyw yn hwy yn Rhufain. Tiberius hefyd a waharddasai i gymdeithion ei ¶fab a fuasai farw i ddyfod i'w olwg ef; o herwydd trwy'r olwg arnynt hwy y dygid i'w feddwl farwolaeth ei fab; ac yr adfywiai ei ofid trwy hynny.

Am y rhesymmau hyn efe a aeth ymaith o Rufain, ac a fordwyodd i Judea; ond mewn amgylchiadau trallodedig: wedi ei ddigalonnogi trwy golled o'r arian hynny oedd ganddo gynt; ac o herwydd nad oedd ganddo yr hyn a ddigolledai ei ddyledwyr, y rhai oeddynt lawer mewn rhifedi, a'r rhai ni roddent iddo ddim lle i ddiangc. Yn y sefyllfa hon ni wyddai pa beth i'w wneuthur: ond efe a giliodd i ryw dŵr ym Malatha yn Idumea, ac a feddyliasai ei ladd ei hun. Ond ei wraig Cypros a ddeallodd ei fwriadau; ac a arferodd bob rhyw foddion i'w droi ymaith oddi wrth hynny: felly hi ddanfonodd lythyr at ei

* Y mae arian bathedig etto yn bod o eiddo yr Emesa hwn, fel y mae Spanheim yn hyspysu i ni. † Herod Phylip.
‡ Herod Antipas. § Efe hefyd a hyspysa i ni am arian yn aros hyd yn awr o eiddo Jotape, merch brenin Commagene.
|| Tetrarch. ¶ Drusus.

chwaer Herodias, yr hon oedd yn wraig Herod y tetrarch, gan adael iddi wybod amcam Herod, a'r achos ag oedd yn ei yrru i hyny: gan ddymuno arni fel ei berthynas-wraig i roddi iddo ei chynnorthwy; ac i berswadio ei gwr i ddefnyddio yr unrhyw; gan ei bod yn gweled y modd yr oedd hi yn ymdrechu i esmwythâu gofidiau ei gwr hyd ag y gallai, pan nad oedd ganddi y cyfryw fodd ag eraill i'w wneuthur. Felly hwy a ddanfonasant am dano, ac a benodasant iddo Tiberias yn breswylfa; gan appwyntio teyrnged yn gynhaliaeth iddo, a'i osod yn swyddog yn y ddinas honno, mewn ffordd o barchedigaeth. Etto ni pharhaodd Herod yn hir o'r meddyliau hynny i'w gynnal ef; er nad oedd ei gynnaliaeth hwynnw yn ddigonol iddo. Canys fel yr oeddynt unwaith mewn gwledd yn Tyre, ac yn eu diod, ac yn bwrw gwradwyddiadau y naill ar y llall; Agrippa a farnodd hynny yn anniodd-efol, tra 'r oedd Herod yn dannod iddo ei dlodi, a'i ddyled iddo ef am ei ymborth angenrheidiol. Felly efe a aeth at Flaccus, un a fuasai yn brif-swyddog, ac yn gyfaill mawr iddo gynt yn Rhufain, yr hwn ydoedd yn awr yn rhaglaw Syria.

Ar hyn Flaccus a'i derbyniodd yn llawen, ac a fu byw gyd ag ef. Flaccus hefyd ydoedd ganddo gyd ag ef Aristobulus, yr hwn ydoedd frawd Agrippa, ond mewn ymrafael ag ef. Etto ni rwystrodd eu gelyniaeth garedigrwydd Flaccus tu ag attynt ill dau; ond hwy a roesawyd yn barchus ganddo. Pa fodd bynnag ni leihaodd Aristobulus yn ei ddrwg ewyllys at Agrippa, nes o'r diwedd iddo ei ddwyn i ammodau drwg â Flaccus: yr achlysur o ddwyn o amgylch y fath ymddieithrad oedd hwn: y Damasciaid oeddynt mewn ymrafael â'r Sidoniaid ymherthynas i'w terfynau. A phan oedd Flaccus yngbylch gwrando'r achosion rhyngddynt, deallasant fod gan Agrippa gymmeriad mawr gyd ag ef. Felly hwy a ddeisyfiasant ar iddo fod o'u hochr, ac am y ffafr hynny a addawsant iddo swm mawr o arian. Felly efe a ymdrechodd i gynnorthwyo'r Damasciaid, hyd ag y gallai. Yn awr, Aristobulus a gafodd wybod am yr addewid hon o arian iddo, ac a'i cyhuddodd wrth Flaccus am yr unrhyw. A phan ar brofiad trwyadl o'r achos, yr ymddangosodd y peth yn eglur, efe a wrthododd Agrippa i fod o nifer ei gyfeillion. Felly efe a ddarostyngwyd i'r tlodi mwyaf, ac a ddaeth i Ptolemais. Ac o herwydd nas gwyddai pa le arall y cai fywioliaeth, meddyliodd am fordwyo i'r Ital. Ond fel y lluddiid ef i wneuthur felly o herwydd diffyg arian, efe a ddymunodd ar Marsyas, ei ŵr rhydd, i ddyfeisio rhyw drefn i gael cymmaint ag oedd yn eisiau arno i'r diben hynny, trwy fenthycca y fath swm o arian gan ryw rai o'en gilydd. Felly Marsyas a ddymunodd ar Peter, yr hwn ydoedd ŵr rhydd Bernice, mam Agrippa, ac wrth hawl ei hewyllys a adawyd i Antonia, i fenthycca cymmaint iddo ar ymrwymiad Agrippa ei hun, a'i feichniaeth. Ond efe a gyhuddodd Agrippa o ddarfod iddo ei dwyllo ef o amryw symmau o arian: ac felly efe a rwymodd Marsyas pan wnaeth weithred am ugain mil o Attic drachmæ, i wneuthur derbyniad o ddwy fil a phum cant o drachmæ, yn llai na'r hyn a ddymunodd. Ar dderbyniad yr arian yma, Agrippa a ddaeth i Anthedon, gan gymmeryd llong, a myned i hwylio ymaith. Ond Herennius Capito, yr hwn oedd brif-swyddog Jamnia, a ddanfonodd lu o filwyr i ofyn ganddo dri chan mil drachmae o arian, y rhai oedd ddyledus arno i drysorfa Cæsar tra'r ydoedd yn Rhufain; ac felly y gorfu arno wneud arosiad. Yna cymmerodd arno ufuddhau i'r hyn a barodd iddo. Ond wedi dyfod y nos ym mlaen, efe a dorrodd raffau'r llong ac a aeth ymaith, gan fordwyo i Alexandria; lle y dymunodd ar Alexander, yr* alabarc, i fenthyccaiddo ddau can mil o drachmæ. Ond dywedodd ef na fenthyccai hwynt iddo, eithr na ommeddai hwynt i Cypros; megis yn rhyfeddu wrth ei serchiadau i'w gwr, a'r siamplau eraill o'i rhinwedd: felly hi ymrwymodd i'w had-dalu hwynt. Yn ganlynol Alexander a dalodd iddynt bum talent yn Alexandria; gan addaw talu gweddill y swm honno yn † Dicearchia: a hyn a wnaeth oddiwrth ofn y byddai i Agrippa yn fuan eu gwario hwynt. Felly y Cypros yma a ryddhaodd ei gwr, ac a'i gollyngodd ymaith i'w fordaith tu ag Itali; tra'r ymadawodd hi a'i phlant i fyned i Judea.

Wedi dyfod Agrippa i Puteoli, efe a ysgrifenodd lythyr at Tiberius Cæser, yr hwn oedd y pryd hwnnw a'i breswylfa yn Capreæ; ac a ddywedodd wrtho, ei fod wedi dyfod mor bell i'r diben o ymweled ag ef: gan ddymuno ei genad i ddyf-

* Llywydd yr Iuddewon yn Alexandria. † Puteoli

od trosodd i Capreæ. Ac wedi ei ddyfod, ni fethodd ymddwyn mor garedig tu ag atto ag yr addawsai yn ei lythyr. Ond y dydd nesaf Cæsar a dderbyniodd lythyr oddiwrth Herennius Capito, yn hyspysu iddo fod Agrippa wedi benthycca tri chan mil o drachmæ, ac na thalasai hwynt yr amser addawedig; ond pan ofynwyd hwynt iddo efe a ddiangasai ymaith fel ffoadur o'r mannau oedd tan ei lywodraeth ef, ac a'i dododd tu hwnt i'w allu i gael yr arian oddiwrtho. Pan ddarllenodd Cæsar y llythyr hwn efe a derfysgwyd yn fawr o'i herwydd; ac a roddodd orchymmyn i yrru Agrippa o'i ŵydd hyd oni thalai y ddyled. Efe, pa fodd bynnag, ni ddigalonnodd mewn un ffordd, o herwydd digter Cæsar; ond a erfyniodd ar Antonia, mam Germanicus, a Claudius, yr hwn yn ol hynny oedd Cæsar ei hun, am fenthycca iddo y tair mil hyn o drachmæ, fel na ymddifadid ef o ewyllys da Tiberius. Felly o barch i goffadwriaeth Bernice ei fam, (canys y ddwy wraig hyn oeddynt dra adnabyddus o'u gilydd,) ac o barch i'w gyd-ddygiad i fynu â Chlaudius, hi a fenthyccodd yr arian iddo. Ar daliad y ddyled hon nid oedd dim i rwystro cymdeithasrwydd Tiberius tu ag atto. Ar ol hyn Tiberius a orchymynnodd ei *wŷr i'w ofal ef; a'r fod iddo yn wastadol fyned gyd ag ef pan elai oddi cartref. Ond ar gyfrif derbyniad caredig Agrippa gan Antonia, efe a gymmerodd arno wasanaethu Caius, yr oedd yn ŵyr iddi hi; ac mewn parchedigaeth mawr, ar gyfrif yr ewyllys da oedd gan y lliaws i'w dad ef. † Yn awr yr ydoedd un Thallus, gwr rhydd i Cæsar, gan yr hwn y benthycciodd filiwn o drachmæ; a thrwy hynny yr ad-dalodd y ddyled oedd arno i Antonia: ac wrth wario yr hyn oedd dros ben yn ymddangos yn y llys i Cæsar, efe a ddaeth yn ŵr o gyfrifiad mawr gyd ag ef.

Yn awr fel yr oedd y gyfeillach oedd rhwng Agrippa a Caius wedi tyfu i raddau uchel, digwyddodd rhyw eiriau ymrysongar rhyngddynt ynghylch Tiberius, fel ag yr oeddynt unwaith ynghyd mewn cerbyd: Agrippa a weddiai Dduw (canys yr oeddynt ill dau yn eistedd wrthynt eu hunain,) am i Tiberius fyned oddi ar y chwareu fwrdd ar fyrder, a gadael y llywodraeth i Caius, yr hwn ym mhob ystyr oedd yn fwy teilwng o honi. Yn awr, Eutychus, yr hwn oedd ŵr rhydd i Agrippa, ac yn gyrru ei gerbyd ef, a glybu y geiriau hyn, a'r pryd hynny ni soniodd ddim am danynt. Ond pan y cyhuddodd Agrippa ef o ledratta rhai o'i wisgoedd, (yr hyn yn sicr oedd wir,) efe a ddiangodd ymaith oddiwrtho: ond wedi ei ddal, ai ddwyn ger bron Piso, llywodraethwr y ddinas; a gofyn iddo Piso paham y ffoasai ymaith? dywedodd fod ganddo ef ryw beth i'w ddywedyd i Cæsar, ag oedd yn tueddu i'w ddiogelwch a'i gadwedigaeth. Yn ganlynol Piso a'i rhwymodd, ac a'i danfonodd i Capreæ. Ond Tiberius, yn ol ei arfer hwyrfrydig, a'i cadwodd yn hir mewn rhwymau, fel oedwr pob achosion, a rhagorach am hynny nac un brenin neu orthrymmwr. Canys ni dderbyniai gennadwyr yn ebrwydd; ac ni ddanfonai rai ymaith at lywodraethwyr neu raglawiaid talaithiau a ddanfonasid o'r blaen oddigerth eu marw hwynt. Oddi yma yr oedd ei fod mor esgeulus am wrando achos carcharorion. Yn gymmaint a phan ofynnid gan ei gyfeillion, pa beth ydoedd ei resymm am oedi yn y fath achosion? Dywedodd ei fod yn oedi gwrando cenhadwyr, rhag ar ei gollyngiad yn ebrwydd ymaith, yr appwyntid cennadwyr eraill, a dychwelyd o honynt i'w feichio ef; ac wrth hynny y chwanegai flinder iddo ei hun, trwy eu cyhoedd dderbyniad a'u gollyngiad ymaith. Ei fod ef yn caniattau i'r llywodraethwyr hynny a anfonid unwaith i'w llywodraethau i aros yno amser hir, oddi ar ofal am y deiliaid oedd danynt: oblegid fod llywyddion o naturiaeth yn dueddol i gasglu cymmaint ag a allant o elw: a bod y rhai nad ydynt i sefydlu yno, ond i aros yn unig dros fyrr amser, ac mewn ansicrwydd pa bryd y troir hwynt allan, ydynt yn fwy awchus yn prysuro eu hunain ymlaen i gneifio'r bobl. Ond os bydd eu llywodraeth i barhau yn hir, y maent o'r diwedd yn laru neu yn digoni ar yr yspail, fel y maent yn dyfod yn llai ysglyfaethus. Ond os anfonir eraill ar fyrder yn eu lle, y deiliaid truain a fo yn ddarostyngol iddynt, megis ysglyfaeth, ni allant oddef y rhai newyddion; pryd na chaniatteir y cyffelyb amser iddynt, ag y darfu i'w rhagflaenoriaid ddiwallu eu hunain ynddo, ac felly a dyfisant yn fwy diofal am gael ychwaneg: a hynny o herwydd eu symmud cyn cael amser i arferyd eu gorthrymder. Rhoddodd siamp'id iynt er amlygu ei feddwl. Haid mawr o wybed a gasglasant o

* Tiberius ieuangaf. † Germanicus.

amgylch briw dyn a archollwyd: ar yr hyn un o'r edrychwyr gerllaw a dosturiodd wrth ei anhap; a chan wybod na's gallai yrru ymaith y gwybed ei hun, a ydoedd yn myned i'w gyrru ymaith trosto. Yntau a ddymunodd arno eu gadael yn llonydd. Y llall, mewn dull o atteb, a ofynnodd iddo y rheswm am hynny, trwy wrthod ymwared rhag ei bresennol drueni; I'r hyn yr attebodd, os gyrrai y gwybed hynny ymaith y poenai ef yn fwy: canys fel ag y mae y rhai hyn eisoes yn llawn o'm gwaed, nid ydynt yn crynhoi mor aml o'm hamgylch, nac yn fy mhigo mor flin ag o'r blaen; ond a ydynt weithiau yn esmwythach: tra mae rhai newyddion ar newynu, ac yn fy nghael ar lawr, yn lluddedig, yn fy llwyr ddifetha. "Am yr achos yma, gan hynny," eb Tiberius, "yr wyf yn gofalu na ddanfonwyf y fath lywiawdwyr newyddion yn barhaus at y rhai hynny o'm deiliaid, y rhai y blinir digon arnynt eisoes gan amryw orthrymderau, ag a ddichon fel y gwybed hyn, eu blino hwynt yn rhagor. Ac felly heblaw eu chwennychiad naturiol i elw, a all fod â'r cymmhelliad chwanegol hwn ynddynt; sef eu bod yn disgwyl ar fyrr eu difuddio o'r boddlonrwydd yn hynny."

Yn awr er tystiolaeth pellach o'r hyn a ddywedais am natur oediog a hwyrfrydig Tiberius, yr wyf yn appelio at yr ymarferiad hwn ei hun. Canys er ei fod yn ymerawdwr ddwy flynedd ar hugain, ni ddanfonodd trwy'r cwbl ond dau oruchwyliwr neu raglaw i lywodraethu cenedl yr Iuddewon; sef Gratus, a'i ddilynwr yn y llywodraeth, Pilate. Ac nid oedd efe yn gweithredu un ffordd ymherthynas i'r Iuddewon; a thrwy ffordd arall tu ag at ei ddeiliaid eraill. Efe a hyspysodd ymhellach iddynt, ei fod hyd yn oed yngwrandawiad achosion carcharorion, yn gwneuthur y fath oediad. "O herwydd," eb efe, "marwolaeth ddioed i'r rhai sydd raid eu dodi i farwolaeth, a fyddai'n esmwythad i'w trueni presennol; pan na haeddodd y cyfryw drueiniaid annuwiol y fath ffafr: ond yr wyf fi yn ei wneuthur, fel trwy gael eu cystuddio â'u presennol garchariad y gorfyddo iddynt fyned tan fwy o drallod."

Ar y cyfrif hwn yr oedd na allai Eutychus gael gwrandawiad; ond a gedwid o hyd yngharchar. Pa fodd bynnag, ryw amser yn ol hynny, Tiberius a ddaeth o Capreæ i Tuscalamim; yr hon sydd ynghylch ugain o 'stadau o Rufain. Agrippa gan hynny a ddymunodd gan Antonia, ar iddi fynnu gwrandawiad i Eutychus, bydded yr hyn y cyhuddid ef o'i herwydd fod fel y byddo. Yn awr yr oedd Antonia mewn cyfrif mawr gyd â Tiberius ym mhob ystyr, oddiwrth uchelradd ei pherthynas ag ef; yr hon a fuasai yn wraig ei frawd Drusus, ac oblegid ei diweirdeb * rhagorol. Canys er ei bod etto yn ddynes ieuangc, hi barhaodd yn ei gweddwdod, ac a wrthododd bob cymmeiriaid eraill; er ei hannog gan Augustus i briodi rhyw un arall. Etto hi o hyd a gadwodd ei hun yn rhydd oddiwrth waradwydd. Buasai hefyd yn dra ffyddlon i Tiberius pan oedd bradwriaeth beryglus wedi ei osod i'w erbyn gan Sejanus; un a fuasai yn gyfaill i'w gwr, ac oedd a'r awdurdod fwyaf ganddo, o herwydd ei fod yn gadflaenor y fyddin; a phan ymgyssylltodd amryw aelodau y senedd, a llawer o wŷr rhyddion y ddinas ag ef; a'r milwyr a lygrasid, a'r fradwriaeth a dyfasai i uchder mawr. Yn awr Sejanus a gawsai yn sicr ei feddwl, pe na buasai i hyfdra Antonia gael ei ddwyn yn ddoethach ym mlaen na malais Sejanus. Canys pan gafodd ddatguddiad o'i amcanion yn erbyn Tiberius, hi ysgrifennodd atto hanes gywir o'r cwbl; ac a roddodd y llythyr at Pallas, y ffyddlonaf o'i gweision, ac a'i danfonodd iCapreæ at Tiberius: yr hwn wedi iddo ddeall yr hanes a laddodd Sejanus a'i gyd-fradwyr.

Felly Tiberius, yr hwn oedd â'r foneddiges hon ganddo mewn parch mawr, a edrychodd yn fwy parchus drachefn arni, ac a ymddiriedodd iddi am bob achos. Yn ganlynol pan ddymunwyd ar Tiberius gan Antonia i wneud ymholiad ar Eutychus, efe a attebodd, "Os yn wir y darfu i Eutychus gam-gyhuddo Agrippa, mewn perthynas i'r hyn a ddywedodd am dano ef, efe a gawsai gosp ddigonol trwy'r hyn a wnaethum yn barod iddo. Ond os ar brofiad

* Y cannoliaeth uchel hwn o Antonia, am briodi dim ond unwaith, a roddir i lawr yma, ac a olygir mewn mannau eraill, XVII. 13. a hyn er y cynhygion cryfaf i'r gwrthwyneb, a ddengys pa mor barchus ydoedd priodasau unigol, yn gystal ym mysg yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid yn nyddiau Josephus, a'r Apostolion; ac sydd yn cymmeryd ymaith lawer o ryfeddu ym mysg protestaniaid diweddar wrth y rheolau hynny o eiddo'r apostolion; lle nad oedd i ddim gweddwon, ond y rhai a fuasent wragedd i un gwr yn unig, gael eu cymmeryd i mewn i'r gofrestr eglwysig: ac nad oedd i esgobion, offeiriaid, na diaconiaid, gael eu caniattau i briodi mwy nag unwaith, heb adael heibio eu swydd o weinidogaethu fel eglwyswyr tros yr amser i ddyfod. Gwel Luc ii. 36. 1 Tim. v. 5, 11, 12. iii. 2, 12. Tit. 1. 6. Constit. Apost. II. 1, 2, VI. 17. &c.

y ceir y cyhuddiad yn wirionedd, bydded i Agrippa gymmeryd gofal, rhag oddi ar ddymuniad i gospi ei ŵr rhydd, na fydd iddo yn hytrach ddwyn cospedigaeth arno ei hun." Yn awr, wedi i Antonia ddywedyd hyn i Agrippa, yr ydoedd etto yn fwy tanbaid am i'r matter gael ei ddwyn i brofiad. Felly Antonia, trwy fod Agrippa yn erfyn yn wastadol arni i ddeisyf y ffafr hon, a gymmerodd y cyfleusdra canlynol. Fel yr oedd Tiberius unwaith yn gorphwys yn ei gadair esmwyth, ac yn cael ei symmud o amgylch ynddi, a Caius ei ŵyr, ac Agrippa yn sefyll o'i flaen ar ol ciniaw; hi gerddodd yn araf wrth ochr y gadair, neu sedân, ac a ddeisyfodd iddo alw am Eutychus, i'w holi ef. I'r hyn yr attebodd, "O Antonia! y duwiau ydynt dystion i mi, fy mod yn cael fy nenu i wneud yr hyn wyf yn myned i'w wneuthur, nid o'm tueddrwydd fy hun, ond oblegid fy mod yn cael fy rhwymo iddo gan dy weddiau di." Pan ddywedodd hyn, efe a orchymmynodd i Macro, yr hwn a osodasai yn swydd Sejanus, i ddwyn Eutychus atto ef. Yn ganlynol heb ddim oed fe'i dygwyd ger bron. Yna Tiberius a ofynnodd iddo pa beth oedd ganddo i ddywedyd yn erbyn dyn a roddasai ei ryddid iddo. Ar yr hyn y dywedodd, "O fy arglwydd, y Caius hwn, ac Agrippa gyd ag ef, oeddynt unwaith yn marchogaeth mewn cerbyd, pan oeddwn yn eistedd wrth eu traed: ac ym mhlith amryw ymddiddanion eraill a aethai heibio, Agrippa a ddywedodd wrth Caius, O na ddeuai unwaith y dydd, pan fyddo farw yr henadur hwn; ac i tithau gael dy enwi yn llywodraethwr y byd cyfanneddol! Canys yna y Tiberius hwnnw, ei ŵyr, ni fyddai o ddim rhwystr, ond a gymmerid ymaith gennit ti; a'r byd a fyddai dedwyddol, a minnau yn ddedwydd hefyd." Yn awr Tiberius a gymmerodd y rhai hyn yn wir eiriau Agrippa: a chan gynnwys yn ei feddwl anfoddlonrwydd tu ag at Agrippa; oblegid pan orchymmynasai iddo ofal ei ŵyr Tiberius, a mab Drusus, ni ddangosasai Agrippa y parch hwnnw iddo, ond a anufuddhaodd i'w orchymmynion, gan osod ei holl hoffder yn Caius; dywedodd wrth Macro, "Rhwym y dyn hwn." Ond Macro heb wybod yn eglur pa un a barai iddo ei rwymo, ac heb ddisgwyl y mynnai wneuthur y fath beth i Agrippa, efe a ymattaliodd; ac a ddaeth i ofyn yn fwy pendant feddwl yr hyn a ddywedodd. Ond wedi i Cæsar roddi tro o amgylch yr Hyppodrome, efe a gafodd Agrippa yn sefyll. "Yn sicr Macro," eb efe, "hwn yw'r dyn a feddyliais i am ei rwymo." A phan ofynnodd drachefn, pa un ydoedd i'w rwymo? dywedodd yntau, Agrippa. Ar hyn Agrippa a ddechreuodd wneuthur ymbiliau trosto ei hun; gan ddwyn ar gof iddo ei *fab, gyd â'r hwn y cawsai ei ddwyn i fynu; a'i ŵyr Tiberius, yr hwn a fuasai yn athraw iddo: ond y cyfan i ddim pwrpas. Canys hwy a'i harweiniasant o amgylch yn rhwym, ïe yn ei wisg borphor. Yr ydoedd yr hin yn dra brwd hefyd; ac heb ganddynt ond ychydig win ar eu pryd bwyd; fel ag yr aeth efe yn dra sychedig. Yr ydoedd hefyd mewn math o ing, ac a gymmerodd y driniaeth hon fel peth tra chreulon. Fel y canfu gan hynny un o gaeth-weision Caius, enw yr hwn oedd Thaumastus, yn dwyn gyd ag ef ddwfr mewn llestr, efe a ddymunodd gael yfed o hono. Felly y gwasanaethddyn a roddodd iddo beth dwfr i'w yfed; yntau a yfodd yn helaeth, ac a ddywedodd, "O tydi fachgenyn, y gwasanaeth yma o'r eiddot a fydd er dy fantais: canys os unwaith y caf ymadael â'r rhwymau hyn, bydd i mi yn fuan fynnu dy ryddhau di gan Caius, yr hwn ni fethaist weini i mi yn awr yn fy rhwymau, yr un modd a phe buaswn yn fy sefyllfa ragflaenol o fawredd." Ac ni thwyllodd ef yn yr hyn a addawodd; ond a wellhaodd arno am yr hyn a wnaeth yn awr. Canys wedi i Agrippa ddyfod i'r deyrnas ar ol hynny, cymmerodd neillduol ofal tros Thaumastus, ac a ynnillodd iddo ei ryddid gan Caius, ac a'i gwnaeth yn oruchwyliwr ar ei etifeddiaeth ei hun: ac wedi ei farw, rhoddodd ef yngofal Agrippa ei fab, a Bernice ei ferch, i weini iddynt hwy yn yr un amgylchiad. Y gwr hefyd a dyfodd yn oedranus mewn sefyllfa anrhydeddus, ac ynddi y bu farw. Ond hyn oll a ddigwyddodd yn ddiweddar.

Yn awr Agrippa a safodd yn ei rwymau o flaen y palas brenhinol, a'i bwys ar bren gan drwm ofidiau, gyd ag amryw eraill hefyd mewn rhwymau. Ac fel y darfu i ryw aderyn, a elwid Bobo † gan y Rhufeiniaid, ddisgyn ar y

* Drusus.

† Dylluan.

pren yr oedd Agrippa yn pwyso arno, un o'r rhai oedd tan rwymau, Allmau o genedl, a'i canfu ef; ac a ofynodd i un o'r milwyr, pwy ydoedd, y dyn hwnnw oedd mewn porphor? A phan ddywedodd iddo mai ei enw oedd Agrippa, a'i fod yn Iuddew o genedl, ac un o'r rhai pennaf o'r genedl honno; gofynnodd gennad i'r milwr, * tan ofal pa un yr ydoedd, i ddyfod yn nes atto ef, am fod ganddo ewyllys i ymofyn ynghylch rhyw bethau perthynol i'w wlad; yr hwn ryddid pan gafodd, a phan safodd yn ei ymyl, dywedodd y modd hyn wrtho trwy ddehonglydd.

"Y cyfnewidiad disymmwth hwn o'th amgylchiad, O ddyn ieuangc, sydd ofidus i ti, megis ag yn dwyn arnat amryw fath o drallodion: ac ni chredi fi pan wyf yn rhagddywedyd y modd y diangi o'r trueni yr ydwyt yn awr tano: a'r modd y bydd i ddwyfol ragluniaeth arlwyo ar dy gyfer. Myfi, pa fodd bynnag, a appeliaf at dduwiau fy ngwlad fy hun, yn gystal a duwiau y lle hwn, y rhai a barodd i ni y rhwymau yma, na fydd i'r hyn oll yr wyf yn myned i'w ddywedyd ynghylch dy fatterion di gael ei draethu er mwyn ffafr neu wobr; nac allan o un ymdrech i'th wneud yn siriol heb achos. Canys y fath ragfynegiad pan fetho, a wna'r gofid yn fwy ac yn chwerwach na phe buasai ei berchen heb glywed y fath beth. Pa fodd bynnag, er rhedeg o honof yr antur fy hun, yr wyf yn tybied yn gymmwys i ddangos i ti ragfynegiad y duwiau. Ni all y bydd i ti barhau yn hir tan y rhwymau hyn; ond ti a waredir yn fuan o honynt, ac a'th dderchafir i'r mawredd uchaf; a thi a eiddigeddir gan y rhai sy'n awr yn tosturio wrth dy ddigwyddiad annedwydd, ac a fyddi fyw mewn llwyddiant a dedwyddwch hyd dy ddiwedd, yr hyn a adewir ar dy ol i'th blant. Ond bydded it' gofio, pan welych yr aderyn hwn drachefn, ná fyddi byw ond pum niwrnod yn hwy ar ol hynny. Y ddamwain hon a ddygir o amgylch gan y Duw hwnnw a ddanfonodd yr aderyn yma i fod yn arwydd i ti. Ac nis gallaf lai na'i farnu yn anghyfiawn i guddio yr hyn yr wyf yn ei ragwybod, ymherthynas i ti: fel trwy dy wybodaeth di ym mlaen llaw o'r dedwyddwch a feddienni, na byddo it dristau o herwydd dy anhap presennol. Ond pan fyddo i'r dedwyddwch hwn yn weithredol gyfarfod â thi, na fydded it anghofio y trueni yr ydwyf fy hun ynddo, ond ymdrecha i'm gwaredu o hono."

Wedi i'r Allmaen ddywedyd hyn, efe a wnaeth i Agrippa chwerthin wrtho, yn gymmaint ag yr ymddangosodd ar ol hynny yn wrthddrych teilwng o ryfeddod. Ond yn awr Antonia a gymmerodd flinderau Agrippa at ei chalon. Pa fodd bynnag, i lefaru wrth Tiberius o'i herwydd hi a'i barnodd yn beth tra anhawdd, ac yn wir yn beth anwnenthuradwy gyd â golwg am lwyddiant. Etto hi gafodd gan Macro beri i'r milwyr a'i cadwai fod yn rhai hywaeth o natur; ac i'r canwriad a osodid arnynt, ac oedd i fwytta gyd ag ef, yn ŵr o'r un dymmer: a bod iddo gael cennad i ymdrochi: a gadael i'w rydd-wŷr a'i gyfeillion ymweled âg ef; a bod i bethau eraill a dueddai i'w esmwythâu gael goddef eu mwynhau ganddo. Felly ei gyfaill Silas a ddaeth atto ef; a dau o'i wŷr rhyddion, Marsyas a Stechus a ddygasant iddo y fath luniaeth a hoffai; ac yn wir a gymmerasant ofal mawr am dano. Dygasant wisgoedd hefyd, tan rith eu gwerthu iddo ef: a phan ddenai'r nos ym mlaen, gosodent hwy oddi tano; a'r milwyr a'i cynnorthwyent hwy; fel y rhoisai Macro orchymmyn ym mlaen llaw: a dyma oedd cyflwr Agrippa tros chwe mis.

Yn awr Tiberius ar ei ddychweliad i Capreæ, a † syrthiodd yn glaf: ar y cyntaf ei glefyd oedd yn arafaidd; ond fel y cynnyddodd arno, nid oedd ganddo ond ychydig, neu ddim gobaith o adferiad. Ar hyn efe a orchymmynodd i Euodus, pa un oedd y gwr rhydd hwnnw ag oedd yn ei berch fwyaf, i ddwyn ‡ y plant atto ef; am fod arno eisiau siarad â hwynt cyn y byddai farw. Yn awr nid oedd ganddo yn bresennol un o'i blant ei hun yn fyw: canys Drusus, yr hwn oedd ei unig fab, a fuasai farw: ond Tiberius, mab Drusus, ydoedd yn fyw; chwanegol enw pa un oedd Gemellus. Yr ydoedd yn fyw hefyd Caius, mab Germanicus, yr hwn oedd fab ei frawd Drusus. Efe yn awr a dyfasai i fynu, ac a gawsai ddysg helaeth, yr hyn a ddefnyddiodd yn dda, ac ydoedd mewn parch a ffafr gyd â'r bobl,

* Dr. Hudson sydd yn cymmeryd su'w yma allan o Seneca, Epist. V. mai dyma oedd arfer Tiberius, i gwplysu y carcharor a'r milwr oedd yn ei wylied, yn yr un gadwyn.

† B. A. 37.

‡ Tiberius ei ŵyr, a Caius, ŵyr ei frawd Drusus.

ar gyfrif geirda rhagorol ei dad Germanicus: yr hwn a ynillasai yr anrhydedd mwyaf ym mysg y lliaws, trwy ddiysgog ymddygiad rhinweddol; trwy ei rydd ymddiddaniad â'r lliaws; ac o herwydd nad oedd ei raddau uchel yn rhwystr i'w gymdeithasrwydd â hwynt, megis pe buasent ei gydradd. Trwy'r ymddygiad hwn yr oedd efe nid yn unig yn fawr ei gymmeriad gyd â'r bobl, a'r senedd, ond gan bawb o'r cenhedlaethau hyny oedd ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid. Rhai o honynt a gynnyrfid yn eu serch tu ag atto trwy weddeidd-dra eu derbyniad ganddo, pan ymwelent âg ef: ac ar ei farwolaeth gwnaethpwyd galar am dano gan bob dynion; ac nid y cyfryw ag a wnaent mewn ffordd o weniaeth i'w llywodraethwyr, pan ddangosent rith o dristwch, ond y cyfryw ag oedd yn wirioneddol: tra'r oedd pawb yn gofidio am ei farwolaeth, megis pe collasent un agos o berthynas iddynt. Ac yn ddiau y cyfryw a fu ei ymddygiad gostyngedig at ddynion, fel y dychwelodd yn fawr er mantais ei fab ei hun ym mysg pawb. Ac ym mhlith eraill y milwyr a gynnyrfwyd mor neillduol tu ag atto, fel y cyfrifasant yn beth cyfiawn os rhaid fyddai iddynt farw eu hunain, er mwyn iddo ef etifeddu'r llywodraeth.

Ond wedi i Tiberius orchymmyn i Euodus i ddwyn y plant atto ef y bore nesaf, gweddiodd at dduwiau ei wlad am roddi iddo arwydd eglur, pa un o honynt ydoedd i ddyfod i'r llywodraeth: gan dra dymuno ei gadael i fab ei fab; ond etto yn ymddibynnu ar yr hyn a ragddangosid gan Dduw ymherthynas iddynt, yn fwy nag ar ei dybiau a'i dueddiadau ei hun. Felly efe a wnaeth hyn iddo yn rheol; y gadewid y llywodraeth iddo ef, yr hwn a ddeuai atto gyntaf y dydd nesaf. Wedi penderfynu y modd hwn ynddo ei hun, efe a ddanfonodd at athraw ei ŵyr, ac a orchymmynodd iddo ddwyn y plentyn yn foreuol atto yn gyntaf y dydd nesaf; gan feddwl y caniattäi Duw iddo gael ei wneud yn ymerawdwr. Ond Duw a brofodd yn wrthwyneb i'w amcanion ef: canys tra'r oedd Tiberius fel hyn yn trefnu achosion, a chyn gynted ag yr aeth yn ddydd, parodd i Euodus alw i mewn y plentyn hwnnw a fyddai yno yn barod. Felly fe aeth allan, ac a gafodd Caius o flaen y drws: canys ni ddaethai Tiberius etto, ond a arosasai am ei foreufwyd. Canys ni wyddai Euodus ddim o fwriadau ei arglwydd. Felly efe a ddywedodd wrth Caius, "Y mae dy dad yn dy alw di;" ac yna fe'i dygodd i mewn. Mor gynted ag y gwelwyd Caius gan Tiberius, efe a ddwysfyfyriodd ar allu Duw, a'r modd yr oedd yr awdurdod o gyfrannu'r llywodraeth i'r hwn a fynnai, yn cael ei gymmeryd yn gwbl oddiwrtho ef; ac oddi yno yr ydoedd na allai gadarnhau yr hyn a amcanodd. Felly fe ofidiodd yn fawr fod yr awdurdod o sefydlu yr hyn a luniasai yn ei feddwl o'r blaen wedi ei symmud oddiwrtho: a bod ei ŵyr Tiberius nid yn unig i golli'r ymerodraeth Rufeinaidd trwy'r dynghedfen hon, ond ei ddiogelwch ei hun hefyd; o herwydd fod ei gadwedigaeth yn awr i ymddibynnu ar rai a fyddai alluoccach nac ef ei hun, y rhai allai ei amddiffyn: ond efe a ofnid ac a gasëid gan yr hwn a fyddai a'r prif awdurdod yn ei feddiant: mewn rhan o herwydd ei fod yn nesaf i'r ymerodraeth; ac hefyd ar gyfrif ei ddyfais parhaus i feddiannu'r llywodraeth, mewn trefn i'w achub ei hun, ac i fod yn ben ar yr achos cyffredin hefyd. Yn awr Tiberius a arferasai ei hun yn fawr i * seryddiaeth, a chyfrifiad genedigaethau: ac a dreuliasai ei fywyd yn y myfyriad ar ragddangosiadau a brofent yn wir, tu hwnt i'r hyn a ddywedai y rhai oedd yn arfer y gelfyddyd. Yn ganlynol, pan unwaith y gwelodd Galba yn dyfod atto, dywedodd wrth ei gyfeillion agosaf, fod dyn yn dyfod i mewn yr hwn a fyddai iddo ryw ddydd feddiannu mawredd yr ymerodraeth Rufeinig. Felly yr oedd Tiberius yn glynu yn fwy wrth bob math o ddewiniaeth nac eraill o ymerawdwyr Rhufain: o herwydd eu cael ganddo yn dywedyd y gwir am ei fatterion ei hun. Ac yn wir yr ydoedd yn awr tan gyfyngder mawr oblegid y ddamwain hon a syrthiasai i'w ran; ac yr ydoedd yn dra anesmwyth ei feddwl oblegid dadwneuthuriad ei ŵyr, yr hyn a ragwelodd efe o'r blaen; ac a achwynodd arno ei hun am arfer y fath drefn o ddewiniaeth ymlaen llaw; tra'r ydoedd yn ei allu i farw yn ddiofid oddiwrth y rhagwybodaeth hon o bethau i ddyfod; pan yn awr yr ydoedd yn cael ei boeni trwy y rhagwybodaeth hon o anhap y rhai oedd anwylaf ganddo, ac oedd yn rhaid iddo farw tan y cyfryw boen. Yn awr, er ei fod wedi ei

* Peth adnabyddus yw hyn ym mysg yr hanesyddion Rhufeinig a'r prydyddion, fod Tiberius yn ymroddi i seryddiaeth a dewiniaeth.

derfysgu oblegid y cylch-dro annisgwyliadwy hwn yn y llywodraeth ymherthynas i'r hyn nad oedd yn ei fwriadu; llefarodd y modd hwn wrth Caius, er mai yn anewyllysgar, ac yn erbyn ei dueddrwydd ei hun, "O blentyn! er bod Tiberius yn agosach o garennydd im' fy hun na thydi; myfi, trwy benderfyniad o'r eiddo fy hun, a goddefiad mawrfrydig y duwiau, ydwyf yn rhoddi, ac yn traddodi i'th ddwylaw di yr ymerodraeth Rufeinig. Ac mi ddymunaf na byddech fyth yn anystyriol, pan ddelych iddi, o'm caredigrwydd i ti, yr hwn i'th osodais mewn derchafiad mor uchel, nac o'th berthynas i Tiberius. Ond fel y gwyddost fy mod i, ynghyd â'r duwiau, yn drefnwr o ddedwyddwch mor fawr i ti; felly dymunaf it wneuthur dychweliad o'm parodrwydd i'th gynnorthwyo, trwy ofalu o honot am Tiberius, ar gyfrif ei berthynas agos i ti. Heblaw hyn gwybydd, mai tra fyddo Tiberius yn fyw, y bydd efe yn ddiogelwch i ti, yn gystal mewn perthynas i'r llywodraeth, a'th achubiaeth dy hun: ond os marw wna efe, hynny a fydd yn rhagflaeniad dy annedwyddwch dy hun; canys bod yn unigol tan bwysau achosion o'r fath ehangder sydd yn dra niweidiol. Ac ni fydd i'r duwiau oddef y gweithredoedd hynny, a wneir yn anghyfiawn ac yn wrthwyneb i'r gyfraith sy'n cyfarwyddo dynion i wneuthur yn amgen, fyned yn ddigosp." Dyma'r araith a wnaeth Tiberius; yr hon ni pherswadiodd Caius i wneuthur yn ganlynol, er addaw o hono ei wneuthur. Ond pan sefydlwyd ef yn y llywodraeth, efe a gymmerodd ymaith y Tiberius hwnnw, fel y rhagddywedasid gan y llall; megis y cafodd ei hun hefyd, heb fod yn hir amser ar ol hynny, ei ladd trwy ddirgel fradwriaeth a osodwyd yn ei erbyn.

Tiberius a appwyntiodd Caius i deyrnasu ar ei ol, wedi byw o hono ychydig ddyddiau, ac yna y bu farw yn ol iddo gynnal y llywodraeth ddwy flynedd ar hugain, pum mis, a thri diwrnod. Yn awr Caius oedd y pedwerydd ymerawdwr. Ond pan ddeallodd y Rhufeiniaid ddarfod i Tiberius farw, hwy a lawenychasant wrth y newyddion da, ond nid oedd calondid ddigon ganddynt i'w gredu: nid o herwydd eu bod yn anewyllysio ei gael yn wir; canys hwy a foddlonent roddi swm mawr o arian am hynny: ond oblegid eu bod yn ofni os dangosent eu llawenydd wrtho pan brofai'r newyddion yn anwir, y cyhuddid hwynt o'i herwydd, a thrwy hynny dadwneuthur eu hunain. Canys y Tiberius hwn a ddygasai nifer mawr o drallodion ar y teuluoedd goreu ym mysg y Rhufeiniaid, gan y nwydau gorwyllt a ennynai ynddo ar bob achosion: ac yr ydoedd o'r fath dymmer ag a wnai ei ddigter yn ddiadlam hyd oni chyflawnai'r unrhyw; er cymmeryd o hono gasineb tu ag at ddynion yn ddireswm. Canys yr ydoedd wrth natur yn llym ym mhob dedryd a draethai, ac a wnai farwolaeth yn gosp am y troseddiadau lleiaf. Yn gymmaint a phan glybu y Rhufeiniaid sôn am ei farwolaeth, hwy a attelid rhag y llawenydd a deimlent o'i herwydd, trwy ofn y cystuddiau a ddeuai arnynt, os profai eu llawenydd yn ddisail. Yn awr Marsyas, gwr rhydd Agrippa, pan gyntaf y clywodd am farwolaeth Tiberius, a ddaeth tan redeg i wneud Agrippa yn hyspys o hono. Ac wrth ei gael yn myned allan i'r ymolchfa, fe roddodd amnaid iddo, ac a ddywedodd yn yr iaith Hebraeg, "Y mae'r * llew wedi marw:" yr hwn ag efe yn deall ei feddwl, ac wedi ei lanw o lawenydd, "Ie," eb efe, "bydded i bob rhyw ddiolch a dedwyddwch dy ddilyn am y newydd hwn o'r eiddot; yn unig ewyllysiwn fod yr hyn a ddywedi yn profi yn wirionedd." Yn awr y canwriad yr hwn a osodasid i gadw Agrippa, pan welodd fod dyfodiad Marsyas gyd â'r fath frys, a'r fath lawenydd a gafodd Agrippa oddiwrth ei ddywediad, dychymmygodd fod ei eiriau yn arwyddo rhyw adnewyddiad gwladol: ac efe a ofynnodd iddo ynghylch yr hyn a ddywedent. Hwythau ar y cyntaf a droisant oddiwrth yr ymddiddan; ond wrth wasgu arnynt ymhellach, Agrippa, heb ychwaneg o eiriau, a ddywedodd yr achos, canys yr ydoedd eisoes wedi dyfod yn gydymaith iddo. Felly fe gyttunodd âg ef yn y llawenychiad a barasai y newydd hwn, o herwydd ei fod o'r fath gysur i Agrippa, ac a wnaeth wledd iddo. Ond fel yr oeddynt yn gwledda, a'r cwppaneidiau yn myned o amgylch, daeth un ag a ddywedodd fod Tiberius yn fyw, ac y dychwelai i'r ddinas ym mhen ychydig ddyddiau. Wrth y newydd hwn fe

* Yr enw hwn o lew a roir yn fynych i ormesdeyrn, yn enwedig gan yr Iuddewon, y fath ag ydoedd Agrippa, ac ysgatfydd ei rydd-wr Marsyas mewn effaith. Ezec. xix. 1--9. Est. xiv. 13. 2 Tim. iv. 17. Cymmharir hwy hefyd weithiau i fwystfilod gwylltion, o'r rhai y llew sydd bennaf, Dan. vii. 3--8. Dat. xiii. 1, 2,

drallodwyd y canwriad yn ddirfawr, o herwydd iddo wneuthur yr hyn a allai gostio iddo ei fywyd, trwy ddarfod iddo roesawi carcharor mor llawen, a hynny wrth y newydd o farwolaeth Cæsar. Felly fe wthiodd ymaith Agrippa oddiar y gadair lle yr eisteddodd, ac a ddywedodd, "A ydwyt yn meddwl fy nhwyllo â chelwydd am farwolaeth yr ymerawdwr, heb gospedigaeth? Ac oni fydd i ti dalu am y chwedl maleisus hwn â'r gwerth o'th ben? Wedi dywedyd hynny efe a orchymmynodd rwymo Agrippa drachefn, (canys o'r blaen gollyngasai ef yn rhydd,) ac a gadwodd wyliadwriaeth llymmach arno nac o'r blaen. Ac yn y cyflwr drwg yma y gadawyd Agrippa y nos honno. Ond y dydd nesaf y cythrwfl a gynnyddodd yn y ddinas, a chadarnhawyd y newydd o fod Tiberius wedi marw yn sicr, yn gymmaint ag y meiddiodd dynion yn awr siarad yn ei gylch yn gyhoeddus: ïe rhai a offrymasant aberthau ar y cyfrif hwnnw. Amryw lythyrau a ddaethant hefyd oddiwrth Caius; un o honynt at y senedd, yr hwn oedd yn eu hyspysu hwynt am farwolaeth Tiberius, a'i fynediad ei hun i mewn i'r llywodraeth: un arall at Piso, llywydd y ddinas, ag oedd yn mynegi iddo yr un peth. Rhoddodd orchymmyn hefyd ar fod i Agrippa gael ei symmud allan o'r gwersyll; a dychwelyd o hono i'w dŷ lle'r ydoedd o'r blaen cyn ei ddodi yngharchar. Felly yr ydoedd yn awr tu hwnt i ofn am ei achosion ei hun; ac er ei fod hyd hynny mewn dalfa, etto'r oedd wedi esmwythâu arno o ran diogelwch ei gyflwr. Yn awr, cyn gynted ag y daeth Caius i Rufain, ac y dygasai gorph marw Tiberius gyd ag ef, a gwneud angladd ardderchog iddo, yn ol cyfreithiau ei wlad, yr ydoedd yn dra thueddol i ollwng Agrippa yn rhydd y dydd hwnnw. Ond Antonia a'i rhwystrodd ef: nid o ran dim drwg-ewyllys i'r carcharor; ond er cyssondeb yn Caius, rhag tybied o ddynion wrth hynny fod marwolaeth Tiberius yn hyfrydwch iddo, pan ollyngai yn rhydd un a rwymasai efe, yn ddioed. Pa fodd bynnag, nid aeth llawer o ddyddiau heibio cyn iddo ddanfon am dano i'w dŷ, pan yr eilliwyd ef, ac y gwnaeth iddo newid ei wisgoedd. Ar ol hyn efe a roddodd goron-bleth ar ei ben, ac a'i happwyntiodd yn frenin ar daleithiau a berthynai gynt i Phylip. Rhoddodd hefyd iddo dalaith Lysanias, ac a newidiodd ei gadwyn haiarn am un gydbwys o aur. Efe hefyd a ddanfonodd Marullus i fod yn rhaglaw Judea.*

Yn awr, yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Caius Cæsar, Agrippa a ofynnodd gennad i fordwyo adref, i sefydlu ei fatterion; ac efe a addawodd ddychwelyd drachefn pan drefnai achosion ei deyrnas. Felly trwy gydsyniad yr ymerawdwr, efe a ddaeth i'w wlad ei hun; ac a ymddangosodd iddynt oll yn annisgwyliadwy fel brenin: ac wrth hynny a ddangosodd i'r rhai a'i gwelodd awdurdod ffortun neu ragluniaeth, pan gydmarent ei flaenorol dlodi â'i bresennol lwyddiant. Felly rhai a'i galwent yn ddyn dedwyddol; ac eraill ni allent gredu fod pethau wedi cyfnewid cymmaint er gwell gyd ag ef.

## PENNOD VII.

### *Am alltudiaeth Herod y Tetrarch.*

OND Herodias, chwaer Agrippa, yr hon oedd yn awr yn byw fel gwraig i'r Herod hwnnw ag oedd yn detrarch Galilea a Perea, a gymmerodd yr awdurdod yma o'r eiddo ei brawd mewn modd cynfigennus; yn enwedig pan ganfu fwy dyrchafiad wedi digwydd iddo ef, nac i'w gwr ei hun: oblegid pan ymadawsai gynt yn fyrbwyll ymaith, hynny oedd am na allai dalu ei ddyledion: ac yn awr wedi dyfod yn ol, yr ydoedd mewn amgylchiad godidog a chyfoethog. Gan hynny yr oedd ei chwaer yn ofidus a than anfoddlonrwydd mawr, o herwydd y diweddar gyfnewid yn ei amgylchiad; ac yn bennaf wrth ei weled yn ymdaith yn mysg y lliaws a'r arferedig fuerau o awdurdod frenhinol, ni allodd gadw yn guddiedig heb ddangos pa mor anhappus ydoedd, ar gyfrif yr eiddigedd oedd ganddi tu ag atto ef. Ond hi a gynnyrfodd ei gwr, ac a ddeisyfodd arno gymmeryd mordaith i Rufain, i feddiannu anrhydedd cydradd âg ef: canys dywedodd na's gallai hi fyw yn hwy, tra'r oedd Agrippa, mab yr Aristobulus hwnnw a fwriasid i farw gan ei dad; un ag a ddaethai at ei gwr yn y fath ddwfn dlodi, fel y gorfyddai arno gael angenrheidiau bywyd yn feunyddiol ganddo ef: ac

* Er addaw o Caius yn awr roddi i Agrippa dalaith Lysanias, etto nichyfranwyd hi iddo oll hyd deyrnasiad Claudius, fel yr ydym yn deall, XIX. 5.

wedi ffoi o hono ymaith tros y môr rhag ei ddyledwyr, yr ydoedd yn awr yn dychwelyd yn frenin. Pan oedd yn fab brenin, a'r berthynas agos oedd rhyngddo â'r awdurdod frenhinol yn galw arno i ymdrechu am yr uchelfraint, efe a eisteddai yn llonydd, ac a foddlonai ei hun â sefyllfa dyn cyffredin. "Ond Herod," ebe hi, "er nad oeddit ti gynt yn gofalu rhag bod mewn sefyllfa islaw dy dad, oddiwrth yr hwn y tarddaist; etto bydded i ti geisio yn awr y mawredd a gyrhaeddwyd gan dy gâr; ac na oddef y dirmyg hwn, fod i ddyn ag oedd yn rhyfeddu wrth dy gyfoeth, ddyfod i anrhydedd mwy na thi dy hun: ac na âd i'w dlodi ef ddangos ei hun yn alluog i bwrcasu pethau mwy na'n cyfoethogrwydd ni: hefyd na chyfrif yn beth amgen na gwaradwydd i fod islaw un ag oedd y dydd arall yn byw ar dy elusen di. Ond awn i Rufain, ac na arbedwn ddim llafur na chost, gan na ellir eu harfer i ddim gwell defnydd nag i ynnill teyrnas."

Ond am Herod, efe a wrthwynebodd ei chymmelliadau tros yr amser presennol, oddiar y cariad oedd ganddo i esmwythder; a chan ddychymmygu am flinderau a gyfarfyddai yn Rhufain. Felly fe a ymdrechodd i'w chyfarwyddo yn well. Ond pa mwyaf y gwelai hi ef yn tynnu yn ol, mwyaf oll y cymmellai ef i hynny; gan ddymuno na adawai un garreg heb ei throi mewn trefn i fod yn frenin. Ac o'r diwedd ni adawodd heibio hyd oni rwymodd ef, pa un a fynnai hynny neu beidio, i fod o'r un feddwl â hi; o herwydd na's gallai trwy un ffordd ochelyd ei thaerineb Felly hwy a geisiasant bob peth yn barod * mewn dull mor ardderchog ag a fedrai, heb arbed dim cost, gan fyned i fynu i Rufain, a chymmeryd Herodias gyd ag ef. Ond Agrippa, pan wnaed ef yn ddealladwy o'u hamcanion a'u parottoadau; yntau a ymbarottodd hefyd i fyned yno. A chyn gynted ag y clywodd iddynt hwylio ymaith, efe a ddanfonodd at Fortunatus, un o'i wŷr rhyddion yn Rhufain, i ddwyn gyd ag ef anrhegion i'r ymerawdwr, a llythyrau yn erbyn Herod: ac i roddi hanes bendant i Caius o'r matterion hyn, os cai gyflensdra i hynny. Y gwr hwn a ganlynodd Herod mor gyflym, ac a gafodd fordaith mor llwyddiannus, gan ddyfod ym mhen cyn lleied o amser ar ol Herod, fel tra'r oedd efe gyd â Caius, yntau a ddaeth i mewn ei hun, ac a draddododd ei lythyrau. Canys hwy a fordwyasant bob un i † Dicearchia, ac a gawsent Caius yn Baiæ, dinas fechan yn Campania, mewn pellder o amgylch pump o 'stadau o Dicearchia. Y mae yn y lle hwnnw balasau brenhinol, a 'stafelloedd ardderchog a chostfawr; a phob ymerawdwr yn ymdrechu i ragori ar y llall mewn mawrhydi a godidogrwydd. Y lle hefyd sydd yn gynnwysedig mewn ymdrochfeydd brydion, ag sy'n tarddu o honynt eu hunain o'r ddaear; y rhai ydynt yn llesol er adferiad iechyd y sawl a wnant ddefnydd o honynt: ac heblaw hyn y maent yn gweini er pleser i ddynion hefyd. Yn awr Caius a gyfarchodd Herod, canys efe yn gyntaf a gyfarfu âg ef; ac yna a edrychodd tros y llythyrau a ddanfonasid iddo oddiwrth Agrippa, a'r rhai a 'sgrifenasid mewn trefn i gyhuddo Herod: yn y rhai y cyhuddid ef, o fod mewn cyngrair â Sejanus yn erbyn llywodraeth Tiberius: a'i fod mewn cyngrair ag Artabanes, brenin Parthia, yn wrthwyneb i lywodraeth Caius. Fel tystiolaeth o hyn dywedodd, fod ganddo arfogaeth ddigonol i ddeng mil a thrugain o wŷr yn barod yn ei arfdy. Caius a gythruddwyd wrth yr hysbysiad hwn, ac a ofynnodd i Herod, a ydoedd yr hyn a ddywedid ynghylch yr arfogaeth yn wir? A phan gyfaddefodd fod y cyfryw arfogaeth yno, (canys ni allai wadu yr unrhyw, a'r gwirionedd o hono yn ymddangos yn ddrygionus.) Caius a gymmerodd hynny yn ddigon o brawf o'r cyhuddiad, ei fod yn amcanu gwrthryfela. Felly fe gymmerodd ymaith oddiwrtho ei swydd o detrarch, ac a'i rhoddodd mewn ffordd o chwanegiad at deyrnas Agrippa. Efe hefyd a roddodd arian Herod i Agrippa: ac mewn ffordd o gospedigaeth, a'i barnodd i alltudiaeth parhaus; ac a appwyntiodd Lyons, dinas yn Gaul, i fod yn drigfa iddo. Ond pan amlygwyd iddo fod Herodias yn chwaer Agrippa, efe a'i hanrhegodd â pha ryw arian ydoedd yr eiddo ei hun: ac a ddywedodd wrthi, mai ei brawd a rag flaenodd ei dodiad tan yr un caethiwed â'i gwr ei hun. Ond hi a wnaeth yr attebiad hwn, "Tydi yn wir, O ymerawdwr, wyt yn ymddwyn mewn mawrfrydigrwydd, fel y mae'n gweddu it dy hun tu ag attaf fi; ond y caredig-

* B. A. 40. † Puteoli.

rwydd sydd gennyf tu ag at fy ngwr, sydd yn fy lluddias i gyfranogi o'th ffafr di. Canys nid cyfiawn yw i mi, yr hon a gyfranogais o'i lwyddiant, ei adael yn awr yn ei adfyd." Ar hyn Caius a ddigiodd wrthi, ac a'i danfonodd gyd â Herod i alltudiaeth, ac a roddodd ei hetifeddiaeth i Agrippa. Ac fel hyn y cospodd Duw Herodias, am ei chynfigen tu ag at ei brawd; a Herod hefyd am roddi clust-wrandawiad i ofer ymddiddanion merch neu wraig. Yn awr Caius a drefnodd yr achosion cyhoeddus mewn modd mawrfrydig a chanmoladwy, yn oed y gyntaf a'r ail flwyddyn o'i deyrnasiad; gan ymddwyn ei hun gyd â'r fath gymmedrolder, fel ag yr ennillodd ewyllys da y Rhufeiniaid eu hunain, ynghyd â'i ddeiliaid eraill. Ond gyd â mynediad amser ym mlaen, efe a aeth tu hwnt i dybiau natur ddynol yn ei dybiau am dano ei hun; ac ar gyfrif ehangder ei lywodraethau, dychymmygodd ei hunan yn dduw; gan gymmeryd arno ei hun weithredu ymhob peth mewn ffordd o waradwydd i'r Duwdod.

## PENNOD VIII.

*Am * gennadwriaeth yr Iuddewon at Caius; ac am y gorchymmyn a roddwyd i Petronius i wneud rhyfel yn erbyn yr Iuddewon. os na wnaent dderbyniad o ddelw'r Ymerawdwr.*

DIGWYDDODD yn awr derfysg yn Alexandria, rhwng y dinasyddion Iuddewig a Groegaidd: a thri o gennadwyr a ddewiswyd o bob plaid a ymranasent, a ddaethant at Caius. Yn awr un o'r cennadwyr hyn oddiwrth bobl Alexandria oedd Apion, yr hwn a draethodd lawer o gableddau yn erbyn yr Iuddewon; ac, ym mhlith pethau eraill a ddywedodd, gosododd i'w herbyn eu hesgeulusdra o'r anrhydedd a berthynai i Cæsar. Canys pan ydoedd pawb ag oedd ddarostyngedig i'r ymerodraeth Rufeinaidd yn adeiladu temlau ac alloran i Caius, ac mewn ystyriaethau eraill, yn gwneuthur yr un derbyniad cyffredinol o hono ag o'r duwiau; yr Iuddewon hyn yn unig a feddyliasant yn ddianrhydedd iddynt hwy i osod i fynu ddelwau o barch iddo, yn gystal ag i dyngu yn ei enw. Llawer o achwyniadau blinion yn y modd hwn a wnaethpwyd gan Apion, trwy y rhai y gobeithiodd gynnyrfu Caius i ddigter yn erbyn yr Iuddewon, fel yr oedd debygol o wneuthur. Ond Philo, y pennaf o'r cennadwyr Iuddewig, gwr enwog ar bob achosion, brawd i † Alexander yr ‡ alabarch, ac un heb fod yn anhyddysg mewn philosophyddiaeth, oedd barod i ymosod ei hun i wneuthur amddiffyniad yn erbyn y cyhuddiadau hynny. Ond Caius a'i gwaharddodd, ac a barodd iddo fyned ymaith. Yr ydoedd hefyd yn y fath gynddaredd, fel yr ymddangosodd yn amlwg ei fod ynghylch gwneuthur rhyw ddrygau mawr iddynt. Felly Philo, wedi ei wrthwynebu y modd hwn, a aeth allan, ac a ddywedodd wrth yr Iuddewon oedd o'i amgylch, ar iddynt fod yn galonnog; gan ddarfod i ymadrodd Caius yn wir ddangos digter i'w herbyn; ond mewn gwirionedd yr oedd efe eisoes wedi gosod Duw yn ei erbyn ei hun.

Ar hyn Caius, gan ei gymmeryd yn beth anfad iddo ef orfod goddef ei ddirmygu fel hyn gan yr Iuddewon, a ddanfonodd Petronius i fod yn rhaglaw Syria, ac yn ddilynwr i Vitellius yn y llywodraeth; gan roddi gorchymmyn iddo i orescyn Judea gyd â lliaws mawr o filwyr; ac os gwnelent dderbyniad o'i lun neu ddelw yn ewyllysgar, ar osod o honynt hi i fynu yn nheml Dduw: ond os byddent yn wrthnysig, ar fod iddo fuddugoliaethu arnynt trwy ryfel, ac yna gwneuthur o hono hynny trwy orfod. Yn ganlynol Petronius a gymmerodd lywodraeth Syria, ac a wnaeth frys i ufuddhau i epistol Cæsar. Crynhôdd ynghyd y fath nifer o gynnorthwyadon hefyd ag oedd yn bossibl, a chymmerodd gyd ag ef ddwy leng o fyddin Rufeinig, ac a ddaeth i Ptolemais, gan auafu yno; a bwriadu ymosod ynghylch y rhyfel gyd ag wyneb y flwyddyn. Efe hefyd a ddanfonodd air i Caius ynghylch yr hyn a fwriadasai wneuthur; yr hwn a'i canmolodd am ei astudrwydd, ac a archodd

* Pennod dra hynod yw hon, megis yn cynnwys y fath siamplau o gyfryngiad rhagluniaeth, ag na fu oedd yn anaml ym mysg eraill o genhedlaethau eilun-addolgar; eithr a ymddangosodd yn fynych ym mhlith tenlu a hiliogaeth Abraham, addolwyr y gwir Dduw ... ac nid yw y siamplau hyn yn ymddangos lawer yn llai anhynod na'r rhai hynny yn yr Hen Destament; ac sydd i'w ystyried yn hynottach, o herwydd yn mysg eu holl ynfydrwydd a'u drygau eraill, nad oedd yr Iuddewon y pryd hyn yn eilunaddolgar: a'r gwaredigaethau crybwylledig yma a wnaethpwyd iddynt mewn trefn i ragflaenu eu hencilad i eilunaddoliaeth.

† Alexander yr alabarch, neu'r llywodraethwr hwn o'r Iuddewon yn Alexandria, a brawd Philo, a feddylir gan esgob Pearson, yn Act. Apost. t. d. 41 42, i fod yr un a'r Alexander hwnw a grybwyllir gan St Luc, megis o genedl yr archoffeiriaid, Act. 4, 6.

‡ Y llywodraethwr Iuddewig yn Alexandria.

iddo fyned ym mlaen, a gwneuthur rhyfel i'w erbyn, os na ufuddhaent i'w orchymmynion. Ond fe ddaeth llawer o'r Iuddewon at Petronius i Ptolemais, i gynnyg eu herfyniau iddo, na chymhellai hwynt i droseddu a threisio cyfraith eu tadau. "Ond" eb hwy, "os ydwyt ti yn hollol ymroddi dwyn i mewn, a gosod i fynu y ddelw hon, bydded i ti yn gyntaf ein lladd ni, ac yna gwna'r hyn a benderfynaist ei wneuthur: canys tra byddom yn fyw ni's gallwn gydsynio â'r pethau a waherddir i ni eu gwneuthur trwy awdurdod ein deddfwr, a thrwy benderfyniad ein hynafiaid i fod y cyfryw waharddiadau yn arwyddion o dduwioldeb." Ond Petronius ydoedd yn ddig wrthynt, ac a ddywedodd, "Pe buaswn fy hun yn wir yn ymerawdwr, ac â rhyddid gennyf i ddilyn fy nhueddiad fy hun, ac yna bwriadu gwneuthur yn y modd hwn, gallasid llefaru y geiriau hyn yn gyfiawn wrthyf. Ond yn awr Cæsar a'm danfonodd i, ac yr ydwyf tan y rhwymau mwyaf i wneud yn ol ei orchymmynion ef: o herwydd fy anufudd-dod iddynt hwy a ddug arnaf ddinystr anocheladwy." Yna'r Iuddewon a attebasant, "Gan dy fod ti o'r duedd, O Petronius, fel na anufuddhäi i epistolau Caius; felly ni throseddwn ninnau orchymmynion ein cyfraith. Ac fel yr y'm ni yn hyderu ar uniondeb ein cyfreithiau; a thrwy ffyddlondeb ein hynafiaid parhawyd hyd yn hyn i beidio goddef eu troseddiad, ni feiddiwn yn awr trwy un modd adael ein hunain i fod mor ofnog ag i droseddu y cyfreithiau hynny oddiar ofn marwolaeth, y rhai a benderfynodd Duw i fod er ein llesâd. Ac os syrthiwn i drallodion nyni a'u dioddefwn hwynt, mewn trefn i gadw ein cyfreithiau; megis yn gwybod fod y rhai sydd yn rhoddi eu hunain yn agored i beryglon, â chanddynt obaith da o ddiangc rhagddynt; am y bydd i Dduw sefyll o'n plaid, pan, o barch iddo ef y byddom yn myned tan gystuddiau, ac yn ymgynnal tan amryw droion rhagluniaeth. Ond pe byddai i ni ymostwng i ti, nyni a waradwyddid yn fawr am ein llwfrdra a'n digalondid; megis yn dangos wrth hynny ein parodrwydd i droseddu ein cyfreithiau; a nyni a dynem arnom ein hunain fawr anfoddlonrwydd Duw hefyd; yr hwn, a thydi dy hun yn farnwr, sydd yn rhagori ar Caius."

Pan welodd Petronius wrth eu hymadroddion, fod eu bwriadau yn anhawdd eu symmud, ac mai heb ryfela na allai fod yn wasanaethgar i Caius ynghyssegriad ei ddelw, a bod yn rhaid tywallt llawer o waed, efe a gymmerodd ei gyfeillion a'i wasanaeth-ddynion oedd o'i amgylch, ac a frysiodd i Tiberias; megis ag eisiau arno gael gwybod pa ddull yr oedd amgylchiad yr Iuddewon, a'u matterion gwladol yn sefyll. Ac amryw filoedd o'r Iuddewon a'u cyfarfuant drachefn, wedi ei ddyfod i Tiberias. Y rhai hyn a feddyliasant y peryglent eu hunain yn fawr os aent i ryfel â'r Rhufeiniaid; ond hwy a farnasant fod troseddiad eu cyfraith o lawer mwy canlyniad; gwnaethant gan hynny eu hymbiliau atto ef, na fyddai iddo mewn un modd eu darostwng i'r fath drueni, na halogi eu dinas â chyssegriad y ddelw. Yna Petronius a ddywedodd wrthynt, "A fydd i chwi gan hynny wneud rhyfel â Cæsar, heb ystyried ei barottoad mawr ef, a'ch gwendid eich hunain?" Attebasant hwythau, "ni wnawn ni ryfel trwy un modd ag ef; ond etto nyni a fyddwn feirw cyn y dioddefom weled ein cyfreithiau yn cael eu troseddu." Felly hwy a fwriasant eu hunain i lawr ar eu hwynebau; gan ddynoethi eu gyddfau, a dywedyd eu bod yn barod i gymmeryd eu lladd. A hyn a wnaethant tros ddeugain niwrnod ynghyd: ac yn y cyfamser a adawsant heibio lafurio eu tir; a hynny pan oedd tymmor y flwyddyn yn galw arnynt i hau ynddo. Fel hyn y parhausant yn gadarn yn eu hymröadau, ac a fwriadasant farw yn ewyllysgar, yn hytrach nag edrych ar osod i fynu y ddelw yn y deml.

Pan oedd pethau yn yr amgylchiad hwn, Aristobulus, brawd y brenin Agrippa, a Helcias y Mwyaf, a'r gwŷr pennaf o'r teulu hwnnw gyd â hwynt, a aethant i mewn at Petronius; ac a ddymunasant arno, tra'r oedd yn canfod meddyliau'r lliaws na chyfnewidiai efe ddim, a thrwy hynny eu gyrru hwynt i anobaith: ond ysgrifennu o honynt at Cæsar, fod gan yr Iuddewon wrthwyneb anorfod i wneuthur derbyniad o'r ddelw: a'r modd y safasant o'i flaen ef, gan adael heibio lafurio eu tir: nad oeddynt yn ewyllysio rhyfela âg ef, am na allent ei wneuthur; ond a oeddynt barod i farw yn ewyllysgar, yn hytrach na dioddef i'w cyfreithiau gael

eu troseddu: ac mai trwy barhau o'r tir heb ei lafurio, yspail a dyfai i fynu, trwy'r anallu a fyddent ynddo i dalu eu teyrnged: ac ysgatfydd y byddai i Caius trwy hynny gael ei annog i dosturi, heb orchymmyn gweithred o greulondeb tu ag attynt, na meddwl dinystrio'r holl genedl: mai os parhäai yn anhyblyg yn ei fwriadau blaenorol o ddwyn rhyfel arnynt, y gallai ei hunan ymosod yn ei gylch. Ac fel hyn y darfu i Aristobulus, ac eraill gyd ag ef, wneud erfyniad at Petronius. Felly Petronius, mewn rhan o herwydd y taer resymmau a osododd Aristobulus ac eraill o'i flaen, ac ar gyfrif y canlyniad mawr o'r hyn a ddymunasant, a'r taerineb trwy ba un y gwnaethant eu deisyfiad; ac mewn rhan ar gyfrif diysgogrwydd y gwrthwynebiad a wnaethpwyd gan yr Iuddewon yn ei olwg: a phan feddyliodd pa beth mor erchyll ydoedd iddo ef fod yn fath gaethwas i gynddaredd ag i ladd cynnifer miloedd o ddynion, yn unig ar gyfrif eu tueddiadau crefyddol at Dduw, ac ar ol hynny treulio ei fywyd mewn disgwyliad o gospedigaeth. Petronius, meddaf, a'i barnodd yn llawer gwell i ddanfon at Cæsar, a gadael iddo wybod pa mor annioddefol ydoedd i gynnal y digter a allai fod ganddo yn ei erbyn, am na chyflawnasai ei wasanaeth yn gynt, mewn ufudd-dod i'w epistol: oblegid ysgatfydd y gallai ei berswadio, mai os parhäai yn ei greulon fwriadau, y gallai wneuthur dechreuad o ryfela i'w herbyn: ïe, mai os tröai ei gasineb yn ei erbyn ef, yr ydoedd yn bryd i ddynion rhinweddol, hyd yn oed farw tros y fath dorfeydd lliosog o bobloedd. Yn ganlynol efe a benderfynodd wrando deisyfiadau yr erfynwyr ar yr achos hwn.

Yna y galwodd efe'r Iuddewon ynghyd yn Tiberias, y rhai a ddaethant wrth y miloedd mewn rhifedi: gosododd hefyd y fyddin oedd yn awr gyd ag ef gogyfer â hwynt: ond ni ddatguddiodd ei feddwl ei hun yn hynny, ond gorchymmyn yr ymerawdwr: ac a ddywedodd wrthynt y cyflawnid ei lidiogrwydd ar y cyfryw ag oedd â chalondid ynddynt i anufuddhau yr hyn a orchymmynasai, a hynny yn ddioed: a'i fod yn gymmwys iddo ef yr hwn a dderbyniasai'r fath awdurdod ganddo, i beidio a'i wrthsefyll mewn un peth. "Etto," eb efe, "nid wyf yn ei farnu yn gyfiawn i ofalu o honof gymmaint tros fy anrhydedd a'm diogelwch fy hun, ac i wrthod eu haberthau hwynt er eich cadwedigaeth chwi, y rhai ydych gynnifer mewn rhifedi; gan ymdrechu i amddiffyn y parch sydd ddyledus i'ch cyfraith; yr hon gan ddyfod o honi i chwi oddiwrth eich tadau, felly bydded i chwi ei gwerthfawrogi a'i chyfrif yn deilwng o'ch ymdrechiad pennaf. Ac, trwy oruwch gymmorth a gallu Duw, ni fyddaf mor ddibris ag ammherchi eich teml ar gyfrif yr awdurdod ymerodrol. Mi ddanfonaf gan hynny at Caius, ac a adawaf iddo wybod beth yw eich ymröad; ac a gynnorthwyaf eich gofynion cyn belled ag y byddo yn fy ngallu; fel na ddarostynger chwi i ddioddef ar gyfrif y dibenion da a osodasoch o'ch blaen. A bydded Duw yn gynnorthwywr i ni; canys ei allu ef sydd tu hwnt i holl allu a dyfais ddynol: a rhodded efe i chwi feddu ar gadwedigaeth eich hynafol gyfreithiau; ac na ddifuddier ef, er ei ddigwydd heb eich cydsyniad chwi, o'i arferedig anrhydedd. Ond os cyffröir Caius, a throi o hono wylltineb ei gynddaredd yn fy erbyn i, bydd i mi fyned tan yr holl ddirmyg a'r cystudd a ddigwydd ddyfod ar fy nghorph neu fy enaid, yn hytrach na gweled cynnifer o honoch chwi yn cael eich difetha, tra'r ydych yn ymddwyn mewn modd mor gyfiawn a rhagorol. Bydded i chwi gan hynny, bob un o honoch, ddychwelyd at eich galwedigaeth eich hunain, ac i ofalu am lafurio eich tiroedd. Minnau yn y cyfamser a ddanfonaf i Rufain, ac ni wrthodaf wneuthur gwasanaeth i chwi ym mhob peth, trwof fy hun yn gystal a thrwy fy nghyfeillion."

Wedi i Petronius ddywedyd hyn, a gollwng ymaith dyrfa'r Iuddewon, archodd i'r rhai pennaf o honynt ofalu am eu hwsmonaeth, a llefaru yn dyner wrth y bobl, gan eu hannog i obeithio'r goreu o'u hachosion. Y modd hwn y darfu gyd â pharodrwydd ddwyn y lliaws i sirioldeb drachefn. Ac yn awr y darfu i Dduw ddangos ei* bresennoldeb i Petronius, ac yr arwyddodd y caniattäi iddo ei gymmorth yn ei holl amcanion: canys nid cynt y gorphenodd yr

* Josephus sydd yn arfer yma eiriau difrifol y Testament Newydd, presennoldeb ac ymddangosiad Duw, am ymddangosiad ei allu a'i ragluniaeth i Petronius, yn anfon gwlaw mewn amser o gyfyngder, yn ebrwydd ar y bwriad a gymmerodd i gadw'r deml heb ei halogi trwy beryglu ei fywyd ei hun, heb ymddangosiad gwyrthiol arall o'l yn yr achos hwnnw, yr hyn sy'n haeddu yn dda sylwi arno, ac sy'n goleuo yn fawr amryw ysgrythyrau yn yr Hen Destament a'r Newydd.

araith a wnaeth efe wrth yr Iuddewon, nag y darfu i Dduw ddanfon i lawr gawodydd helaeth o wlaw, yn wrthwyneb i ddisgwyliad dynol: canys y dydd hwnnw ydoedd ddiwrnod goleuglir, heb ddim arwydd o wlaw yn ol ymddangosiad yr wybr: ïe'r holl flwyddyn ydoedd ddarostyngol i sychder mawr; ac a barasai iddynt anobeithio am ddwfr oddi uchod, ïe pan, ar amserau y canfuont y nefoedd wedi ei gorchuddio â chymmylau: yn gymmaint a phan ddaeth mesur helaeth o wlaw i lawr, a hynny mewn modd anarferol, ac heb ddim disgwyliad am dano, yr Iuddewon a obeithiasant na fyddai i Petronius mewn un wedd fethu yn ei erfyniadau trostynt. Ond am Petronius, yr ydoedd yn dra rhyfedd ganddo, pan gaufu y modd yr oedd Duw yn eglur ofalu am yr Iuddewon, ac yn rhoddi arwyddion amlwg o'i ymddangosiad; a hynny i'r fath radd, ag yr oedd y rhai hyny a ogwyddai i'r gwrthwyneb, heb ganddynt ddim nerth wedi ei adael ynddynt i'w wrthddywedyd. Hyn hefyd ydoedd ym mhlith pethau neillduol eraill a ysgrifenodd yn eu cylch at Caius; yr hyn oll oedd yn tueddu i'w droi ymaith trwy bob moddion, oddiwrth amcanu gwneuthur niweid i gynnifer miloedd o ddynion; y rhai os lladdai hwynt, (canys heb ryfel ni ddioddefent mewn un modd i gyfraith eu haddoliad gael ei dodi heibio,) byddai yn ei golled o'r deyrnged a dalent, ac a felldithid yn gyhoeddus ganddynt tros oesoedd i ddyfod. Ymhellach, ddarfod i Dduw, yr hwn oedd eu llywodraethwr, ddangos ei awdurdod a'i allu yn dra amlwg ar eu rhan hwynt; a hwnnw yn fath allu a'r na adawyd lle i ammeu yn hwy am dano.

Ond y brenin Agrippa, yr hwn oedd yn byw yn awr yn Rhufain, ydoedd fwyfwy yn ffafr Caius. Ac efe unwaith a wnaeth swpper iddo; ac ydoedd yn ofalus am iddo ragori ar yr eiddo eraill, yn gystal mewn costau ac arlwyadau, ag a dueddai fwyaf er ei foddlonrwydd: nag ê, yr ydoedd mor bell yn rhagori ar allu eraill, na allodd Caius ei hun wneud yn gydradd, a llawer llai ragori arno; y fath ofal a gymmerasid ym mlaenllaw i ragori ar bawb: ac yn neillduol i wneud pob peth wrth fodd Cæsar. Ar hyn Caius a ryfeddodd wrth ei ddeall a'i fawrfrydigrwydd, yn rhwymo o hono ei hun i drefnu'r cwbl yn ol ei ddymuniad ef; ïe, tu hwnt i'r fath draul a chostau ag a allasai efe gynnal: ac a ddymunodd na byddai yn ol-llaw i Agrippa yn yr haelioni a arferodd tu ag at roi boddlonrwydd iddo. Felly Caius, wedi yfed o hono win yn ddigonol, ac yn llawenach na chyffredin, a ddywedodd fel hyn, ar amser yr ŵyl, wedi i Agrippa yfed atto: * "Gwybum cyn hyn, pa ryw barch mawr oedd gennyt i mi, a pha garedigrwydd mawr a ddangosaist tu ag attaf, er y dioddefiadau a fuost tanynt yn amser Tiberius, ar y cyfrif hwnnw. Ac ni adewaist yn ol un peth trwy'r hwn y gellit ddangos dy ewyllys da i mi; ïe tu hwnt i'th allu: o herwydd hyn fe fyddai yn beth gwael i mi gael fy ngorchfygu gan dy garedigrwydd. Yr wyf gan hynny yn dymuno talu adref i ti am bob peth, yn yr hyn ag y bum o'r blaen yn ddiffygiol: canys y cwbl ag a gyfrennais i ti, y rhai a ellir eu galw fy rhoddion i, ydynt ond ychydig. Yr hyn oll a dueddo er dy happusrwydd a gaiff fod at dy wasanaeth; a hynny gyd â pharodrwydd, a chyn belled ag y mae fy awdurdod i yn cyrhaeddyd." A dyma yr hyn a ddywedodd Caius wrth Agrippa, gan ddisgwyl y gofynnai ryw wlad ehang: neu deyrnged oddiwrth ryw ddinasoedd enwog. Ac er bwriadu o hono yn flaenorol pa beth a ofynnai, etto ni ddatguddiasid iddo ef ei amcanion; ond a attebodd yn ebrwydd, mai nid o un disgwyliad am elw y dangosodd gynt ei barch iddo, yn wrthwyneb i orchymmynion Tiberius; ac nid oedd yn awr yn gwneuthur un peth mewn perthynas iddo ef, mewn trefn i dderbyn rhyw beth ganddo a berthynai i'w fantais ei hun, neu i dderbyn rhai o'i roddion. Fod yr hyn a gyfranasai eisoes iddo yn fawr, a thu hwnt i ddisgwyliad dyn anghenus. "Canys," eb efe, "er dichon o honynt fod is law dy allu, yr hwn wyt y rhoddwr; etto y maent yn fwy nâ'm tuedd a'm dyrchafiad yr hwn wyf dderbyniwr." Ac fel yr oedd Caius yn rhyfeddu wrth ddawn Agrippa, ac yn ei gymmell i ofyn rhyw beth ag a allai ei foddhau âg ef; Agrippa a attebodd, "Gan dy fod ti, fy arglwydd, yn addef, gyd â'r fath barodrwydd, fy mod i yn deilwng o'th roddion, ni ofynnaf ddim ag sy'n tueddu

*Yr ymddygiad hwn o eiddo Caius at Agrippa, sydd dra thebyg i'r un hynny o'r eiddo Herod Antipas, ei ewythr, at Herodias, chwaer Agrippa, ynghylch Ioan Fedyddiwr. Math, xiv. 6---11.

i'm dedwyddwch fy hun; canys yr hyn a gyfrenaist eisoes a wnaeth i mi ragori yn hynny: ond mi ddeisyfaf ryw beth a'th wna di yn glodfawr am ddnwioldeb, ac a bair y Duwdod yn gynorthwyol i ti yn dy amcanion; ac a all fod yn anrhydedd i mi ym mysg y rhai a ymofynant yn ei gylch; gan ddangos na fethais un amser dderbyn peth a geisiais gennyt: Canys fy neisyfiad yw hyn, na fyddo i ti ymhellach fwriadu cyssegru y ddelw honno, pa un a orchymmynaist ei gosod i fynu yn nheml yr Iuddewon gan Petronius."

Fel hyn y darfu Agrippa anturio bwrw'r ddîs ar yr achos yma, pa un ydoedd fawr yn ei dŷb ef; er y gwyddai pa mor beryglus ydoedd i lefaru felly: canys pe na buasai dderbyniol gan Caius, gallasai dueddu i ddim llai na cholledigaeth ei fywyd. Felly Caius, yr hwn a gymmerasai i fynu yn fawr âg ymddygiad gostyngedig Agrippa; ac ar gyfrifon eraill yn barnu yn beth diaurbydeddus i fod yn enog o anwir o flaen cynnifer o dystion, mewn achosion ag a barodd gyd â'r fath gymmelliad i ddyfod yn erfyniwr: ac yr edrychai fel pe buasai eisoes wedi edifarhau am yr hyn a ddywedasai; a'i fod yn mawr barchu rhinwedd Agrippa, yn peidio dymuned ganddo helaethrwydd o'i lywodraethau ei hun, gyd â chwanegiad o deyrnged neu awdurdod; ond yn gofalu am lonyddwch gwladol, am y cyfreithiau, a duwioldeb ei hun; efe gan hynny a ganiattaodd iddo yr hyn a ofynasai. Efe hefyd a ysgrifenodd at Petronius, gan ei ganmol am wneuthur casgliad o'i fyddin, ac yna ymgynghori ag ef ynghylch y cyfryw achosion. "Os gan hynny." eb efe, "y darfu i ti eisoes osod i fynu fy nelw, gâd iddi sefyll: ond os na chyssegraist hi etto, na flina dy hun ymhellach yn ei chylch; ond gollwng ymaith dy fyddin, a dos yn ol, a chymmer ofal am y matterion hynny ynghylch pa rai i'th aufonais gyntaf; canys nid oes achos arnaf yn awr am gyfodi i fynu y ddelw honno. Hyn a ganiattëais yn ffafr i Agrippa, dyn ag wyf yn ei aurhydeddu mor fawr, fel nad wyf yn gallu gwrthwynebu yr hyn a gais efe, neu'r hyn a ddymuno ei wneuthur gennyf iddo ef." A thyma'r hyn a ysgrifenodd Caius at Petronius: yr hwn cyn derbyn ei lythyr, oedd wedi hyspysu iddo fod yr Iuddewon yn barod i godi gwrthryfel o achos y ddelw; a'u bod yn ymddangos yn hollol fwriadu bygwth rhyfel yn erbyn y Rhufeiniaid, a dim arall. Wedi i Caius gan hynny anfoddloni yn fawr i un cynnygiad gael ei wneuthur yn erbyn ei lywodraeth; ac fel yr oedd yn dueddol i weithredu mewn ffordd wael a distadl ar bob achosion, ac na ofalai ddim am yr hyn oedd rinweddol ac anrhydeddus: ac yn erbyn pwy bynnag yr ymroai i ddangos ei ddigter, a hynny am ba achos bynnag, ni oddefai iddo ei hun gael ei attal trwy unrhyw gyngor neu annogaeth, ac a farnodd gynnwysiad ei ddigofaint yn hyfrydwch iddo; yn ganlynol ysgrifenodd y modd hwn at Pretonius; "Wrth ganfod dy fod yn cyfrif yr anrhegion a wneir i ti gan yr Iuddewon, o fwy gwerth na'm gorchymmynion i; a thyfu o honot yn rhyfygus ddigon i wasanaethu i'w cyfleusderau hwynt; gosodaf di yn farnwr it' dy hun; ac i ystyried pa beth yr wyt i'w wneuthur, â thi yn awr tan fy anfoddlonrwydd; canys myfi a'th wnaf yn siampl i'r oes bresennol, ac i'r rhai a ddel ar ol, fel na feiddiont wrthwynebu gorchymmyn eu hymerawdwr."

Dyma'r epistol a ysgrifenodd Caius: ond ni dderbyniodd Petronius hi tra bu yn fyw; am fod y llong a'i dygasai wedi hwylio yn araf; fel ag y daeth llythyrau eraill at Petronius o'i flaen, trwy y rhai y deallodd farw o Caius: canys ni fynnai Duw anghofio y peryglon a aethai Petronius iddynt ar gyfrif yr Iuddewon, a'i anrhydedd ei hun. Ond wedi cymmeryd Caius ymaith, oddiar ei anfoddlonrwydd i'r hyn a gynnygiodd mor drahaus ei wneuthur yn cymmeryd iddo ei hun ddwyfol addoliad; Rhufain ei hun a'r holl arglwyddiaethau, a gydfwriadasant â Petronius, yn enwedig y rhai o'r drefn seneddol, i roddi i Caius ei iawn wobr, o herwydd ei fod yn annhrugarog o lym tu ag attynt: canys efe a fu farw ychydig amser * yn ol ysgrifenu o hono at Petronius yr epistol hwnnw ag oedd yn ei fygwth ef â marwolaeth. Ond am yr achos o farwolaeth Caius, a natur y cydfradwriaeth i'w erbyn, bydd i mi ei adrodd megis ag yr elwyf ym mlaen â'r hanes hwn. Yn awr, yr epistol hwnnw ag oedd yn hyspysu i Petronius farwolaeth Caius a ddaeth yn gyntaf; ac ychydig ar ol, daeth yr un hynny ag oedd yn gorchymmyn iddo ladd ei hun. Ar hyn fe law-

* B. A. 41.

enychodd wrth y cydymgyfarfodiad yma o farwolaeth Caius: gan ryfeddu rhagluniaeth Duw, yr hwn heb yr oediad lleiaf a'i gwobrwyodd am ei ofal tros y deml; a'r cymmorth a roddodd i'r Iuddewon i ochelyd y peryglon yr oeddynt ynddynt. A thrwy'r moddion hyn Petronius a ddiangodd rhag y perygl hwnnw o farwolaeth, yr hyn ni fedrai ei rag-weled.

## PENNOD IX.

*Am yr hyn a ddigwyddodd i'r Iuddewon oedd yn Babilon yn achos dau frodyr, Asineus ac Anileus.*

BLIN drallodion yn awr a oddiweddodd yr Iuddewon oedd yn Mesopotamia, ac yn enwedig y rhai oedd yn trigo yn Babilonia. Nid llai o raddau ydoedd nac unrhyw drallodion a ddigwyddasai o'r blaen; ac a ddaeth ynghyd â lladdfa fawr o honynt, a hynny yn fwy na dim a fu o'r blaen mewn coffadwriaeth. Ymherthynas i'r hyn oll y bydd i mi lefaru yn fanwl, ac amlygu'r achosion trwy ba rai y daeth y blinderau hyn arnynt. Yr ydoedd dinas o Babilonia a elwid Neerda: nid yn unig un dra phoblogaidd, ond un ag oedd a thiroedd da a helaeth o'i hamgylch; ac heblaw manteision eraill, yn llawn trigolion hefyd: yr ydoedd hefyd yn anhawdd cyrchu atti gan elynion, trwy fod yr afon Euphrates yn ei chwmpasu o amgylch, a muriau hefyd yn ei hamgylchynu.

Yr ydoedd hefyd y ddinas Nisibis, â'i sefyllfa ar yr un ffrwd o'r afon. Am ba reswm yr Iuddewon, yn hyderu ar gadernid naturiol y lleoedd hyn, a ddodasant i fynu ynddynt yr hanner sicl, yr hyn y mae pob un yn ol defod ein gwlad, yn ei offrymmu i Dduw, yn gystal ag y gwnaent o bethau eraill a roddid at ei wasanaeth ef. Canys hwy a wnaent ddefnydd o'r dinasoedd hynny fel trysorfeydd, o ba le, ar amser pennodol, hwy a symmudid i Jerusalem; a rhai miloedd o ddynion a gymmerent arnynt ddwyn y rhoddion hyn gyd â hwynt, rhag ofn eu hanrheithio gan y Parthiaid, i ba rai yr oedd y Babiloniaid y pryd hynny yn ddarostyngol. Yn awr, yr ydoedd dau o wŷr, Asineus ac Anileus, o ddinas Neerda wrth enedigaeth, ac yn frodyr y naill i'r llall. Yr oeddynt yn ymddifad o dad, a'u mam a'u dododd i ddysgu'r gelfyddyd o wau llenni; am na chyfrifid yn ddirmyg yn eu mysg hwynt, i ddynion fod yn webyddion lliain. Yn awr, y neb a ddysgasai iddynt y gelfyddyd honno, ac a osodasid i olygu arnynt, a achwynodd eu bod yn dyfod yn rhy ddiweddar ar eu gwaith, ac a'u cospodd â gwialenodiau. Ond hwy a gymmerasant y gosp hon megis yn dramgwydd; ac a ddygasant ymaith yr holl arfau oedd yn y tŷ hwnnw, y rhai oeddynt nid ychydig, ac a aethant i ryw le oedd ag ymraniad afonydd ynddo, a lle ag oedd wedi ei gymhwyso yn naturiol i borthi anifeiliaid; ac i gadw y fath ffrwythau ag a arferid ddodi i fynu erbyn gauaf. Y fath iselaf o ddynion ieuaingc hefyd a gyrchasant attynt, y rhai a arfogasant â'r offerynau hynny, ac a ddaethant yn gadbeniaid arnynt; ac ni rwystrai dim hwynt i fod yn arweinwyr iddynt i ddrygau, canys cyn gynted ag y daethant yn anorchfygol, ac adeiladu tŵr iddynt eu hunain, danfonasant at y rhai oedd yn porfäau anifeiliaid, gan orchymmyn iddynt dalu rhyw gymmaint o dreth neu deyrnged allan o honynt, ag a fyddai ddigonol i'w cynnaliaeth: gan addaw hefyd bod yn gyfeillgar â hwynt, os ymostyngent iddynt, ac yr amddiffynent hwynt rhag gelynion eraill ar bob tu; ond y lladdent anifeiliaid y rhai a wrthodai ufuddhau iddynt. Felly hwy a wrandawsant ar eu cais hwynt, am na allent wneuthur yn amgen, ac a ddanfonasant gymmaint o ddefaid ag a ofynnent ganddynt. Wrth hyn eu lluoedd a dyfasant yn fwy, a daethant yn arglwyddi ar gynnifer ag a fynnent; trwy wneuthur symmudiadau cyflym, a drygu rhai yn eu ffordd: yn gymmaint a bod pawb oedd ag a wnelai â hwynt, yn dewis ymostwng iddynt; a hwy a ddaethant yn arswyd i'r sawl a ymosodasai i'w herbyn, nes dyfod y sôn am danynt i glustiau brenin Parthia.

Ond pan ddeallodd llywydd Babilonia hyn, ac â chanddo fwriad i'w gwrthsefyll cyn iddynt gynnyddu yn fwy, a chyn cyfodi ychwaneg o ddrygau oddiwrthynt; crynhodd ynghyd gymmaint byddin ag a fedrai, yn gystal o'r Parthiaid ag o'r Babiloniaid, gan gyrchu yn eu herbyn, a meddwl ymosod arnynt i'w difetha hwynt, cyn i neb ddwyn iddynt y newydd o ddarfod casglu byddin ynghyd. Yna y gwersyllodd ar lan llyn, ac a safodd yn llonydd. Ond ar y dydd nesaf, yr hwn oedd y Sabboth, (pa un ym mysg yr

Iuddewon sydd yn ddydd o orphwysiad oddi wrth bob math o lafur,) meddyliodd na feiddiai 'r gelyn ymladd ag ef ar y dydd hwnnw; ond y cymmerai, ac y dygai hwynt ymaith yn garcharorion heb ymladd. Efe gan hynny a aeth yn mlaen yn raddol, gan feddwl syrthio arnynt yn ddisymmwth. Yn awr Asineus ydoedd yn eistedd gyd â'r lleill, a'u cleddyfau yn eu hymyl: ar hynny dywedodd, "Yr wyf yn clywed swn gweryriad meirch; nid y fath ag sydd mewn porfeydd, ond y cyfryw ag a farchogir gan ddynion: clywaf hefyd sŵn eu ffrwyni fel yr wyf yn ofni fod rhyw elynion yn dyfod ar ein gwarthaf i'n hamgylchynu ni. Pa fodd bynnag, eled rhyw un i edrych o amgylch, ac i arwyddo pa wir sydd yn amgylchiad pethau yn bresennol: a bydded i'r hyn a grybwyllais yn bresennol brofi yn gau-ddychryn." Ac wedi iddo ddywedyd hyn, rhai o honynt a aethant allan i weled pa beth oedd yr achos o'r dychryn; a hwy a ddaethant yn ol drachefn yn ddioed, ac a ddywedasant wrtho, "Ni chamsyniaist wrth ddywedyd i ni yr hyn oedd ein gelynion yn ei wneuthur; ac ni âd y gelynion hyn i ni niweidio rhyw bobl eraill ddim yn hwy. Nyni trwy eu cynllwynion, a ddaliwyd fel anifeiliaid direswm: ac y mae llu mawr o wŷr meirch yn dyfod ar ein gwarthaf ni; tra'r ydym ni yn amddifad o ddwylaw i amddiffyn ein hunain â hwynt; o herwydd yr attelir ni i'w wneuthur trwy waharddiad ein cyfraith, yr hon sydd yn ein rhwymo i orphwys ar y dydd hwn." Ond ni chyttunai Asineus mewn un modd â thybiau ei negeseuwr ynghylch yr hyn ag oeddynt i'w wneuthur; ond efe a farnodd yn fwy cyttunol â'r gyfraith, i godi eu hysprydoedd ar yr amser hwn o angenrheidrwydd, a thorri eu cyfraith wrth ddial eu hunain ar eu gelynion, er gorfod iddynt wneuthur hynny trwy farw yn y weithred, yn hytrach nag aros heb wneuthur dim i'w boddloni hwynt, ac ymostwng i gymmeryd eu lladd ganddynt. Yn ganlyñol efe a gymmerodd i fynu ei arfau, ac a gefnogodd y rhai oedd gyd ag ef, i weithredu gyd a chalondid fel ef ei hun. Felly hwy a syrthiasant ar eu gelynion, ac a laddasant lawer o honynt, o herwydd iddynt eu diystyru hwynt, a sicrhau iddynt eu hunain fuddugoliaeth; a hwy a ddodasant y lleill i ffoi.

Pan ddaeth y newydd am yr ymladdfa hon at frenin Parthia, efe a ryfeddodd wrth hyfdra y brodyr hyn; ac yr oedd ganddo ddymuniad i weled ac ymddiddan â hwynt. Efe gan hynny a ddanfonodd y rhai mwyaf ffyddlon o'i filwyr i ddywedyd wrthynt. "Y brenin Artabanus, er cael o hono driniaeth anghyfiawn gennych, y rhai a wnaethoch gynnygiad yn erbyn ei lywodraeth; etto y mae ganddo olwg mwy ar eich ymddygiad gwrolwych, nac ar y digter a ddug tu ag attoch; ac a'm danfonodd i roddi i chwi ei ddeheulaw, a'i ddiogelwch; ac y mae'n caniattau i chwi ddyfod atto ef mewn ffordd ddiangol, ac heb ddim gwrthwynebiad yn eich taith; ac efe a chwennych i chwi ei gyfarch fel ei gyfeillion, heb feddwl am ddim dichell neu dwyll tu ag attoch. Y mae hefyd yn addaw gwneuthur i chwi anrhegion, a dangos i chwi y parch ag a bar chwanegiad o'i awdurdod at eich gwrolder, ac wrth hynny a fydd yn fanteisiol i chwi. Etto Asineus a adawodd heibio wneuthur siwrnai yno, ond a ddanfonodd ei frawd Anileus, gyd â'r cyfryw anrhegion ag a allai gael. Felly efe a aeth, ac a dderbyniwyd i bresennoldeb y brenin. A phan welodd Artabanus fod Anileus wedi dyfod wrtho ei hun, efe a ofynnodd y rheswm paham y darfuasai i Asineus esgeuluso dyfod gyd ag ef? A phan ddeallodd ei fod yn ofni hynny, ac aros o hono etto wrth y llyn, cymmerodd lw yn enw duwiau ei wlad, na wnai iddynt niweid os deuent atto ar yr ammod a roisai o'r blaen, gan estyn iddo ei ddeheulaw. Hyn sydd yn rym neu sicrwydd mwyaf ym mysg yr holl farbariaid hynny wrth wneuthur cyttundeb â hwynt; canys ni thwyllant neb wedi unwaith roddi iddynt eu deheulaw; ac ni amheuai neb am eu ffyddlondeb wedi iddynt unwaith ei wneuthur, er ammeu o'r blaen eu purdeb a'u hanghyfiawnder. Wedi i Artabanus wneuthur hyn efe a ddanfonodd Anileus ymaith i berswadio ei frawd i ddyfod atto ef. Yn awr hyn a wnaeth y brenin, o herwydd fod arno eisiau ffrwyno ei lywodraethwyr o daleithiau â gwrolder y brodyr Iuddewig hyn, rhag iddynt wneuthur cyngrair â hwynt; canys yr oeddynt yn barod i droi oddiwrtho, ac i ymderfysgu, pe danfonasai hwynt i wneuthur ymgyrch yn eu herbyn. Yr ydoedd hefyd yn ofni rhag, wedi ymrwymo mewn rhyfel i'r diben o ddarostwng y llywod-

raethwyr hynny o daleithiau a wrthryfelasent, y byddai i blaid Asineus, a'r rhai hynny yn Babilonia, gael eu chwanegu; ac nu ai gwneud rhyfel i'w erbyn ef pan glywent am y terfysgoedd hynny; neu os siommid hwynt yn yr achos hwnnw, na fethant wneuthur drygau eraill iddo ef.

Fel ag yr oedd y brenin â'r amcanion hyn ganddo, efe a ddanfonodd ymaith Anileus; ac yntau a berswadiodd ei frawd i ddyfod at y brenin, wedi adrodd iddo am ei ewyllys da, a'r llw a wnaethai efe. Yn ganlynol hwy a wnaethant frys i fyned at Artabanus, yr hwn wedi iddynt ddyfod a'i derbyniodd gyd â hyfrydwch, gan ryfeddu gwroldeb Asineus yn yr hyn a wnaethai; â hynny o herwydd ei fod yn ddyn o gorpholaeth bychan, ac ar yr olwg gyntaf yn ymddangos yn ddirmygus. Dywedodd hefyd wrth ei gyfeillion, y modd, mewn cydmariaeth, yr oedd ei enaid, ymhob ystyriaeth yn rhagori ar ei gorph. A phan unwaith wrth gyd yfed y dangosodd Asineus i Abdagases, un o flaenoriaid ei fyddin, ac yr hyspysodd iddo ei enw, ac y descrifiodd y cefnogrwydd mawr oedd ynddo mewn rhyfel; ac i Abdagases ofyn cennad i'w ladd ef, ac wrth hynny dial cosp arno am y niweid a wnaethai i lywodraeth y Parthiaid; y brenin a attebodd, "Ni roddaf gennad i ti fyth i ladd dyn ag sy'n hyderu ar fy ffyddlondeb i, yn enwedig ar ol rhoddi iddo fy neheulaw, ac yr ymdrechais i ynnill ei hyder trwy lwon a wnaethum yn enw'r duwiau. Ond os ydwyt yn ddyn gwir filwrus, nid oes achos arnat am fy anudonedd i. Dos gan hynny, a dial lywodraeth y Parthiaid; gorddiwes y dyn hwn wedi y dychwelo yn ol; a gorchfyga ef â'r byddinoedd a rodder tan dy ofal heb yn wybod i mi. Ar hyn y brenin a alwodd am Asineus, ac a ddywedodd wrtho, "Y mae 'n bryd i ti, O wr ieuangc, ddychwelyd adref, a pheidio cythruddo digter fy nghadflaenoriaid yn y lle hwn ymhellach, rhag iddynt geisio dy ladd di, a hynny heb fy nghydsyniad i. Yr wyf yn ymddiried gwlad Babilonia i ti; fel trwy dy ofal y cadwer hi yn rhydd oddiwrth yspeilwyr ac oddiwrth ddrygau eraill. Mi fi a gedwais fy ffydd â thi yn ddidrais, a hynny nid ar achosion bychain, ond yr hyn a berthynai i'th ddiogelwch; ac yr wyf yn haeddu gan hynny it' fod yn garedig i mi." Wedi iddo ddywedyd, hyn, a rhoddi i Asineus rai anrhegion, danfonodd ef ymaith yn ddioed: yr hwn pan ddaeth adref, a adeiladodd wersyllfaoedd, ac a ddaeth yn gyfrifol mewn ychydig amser; ac a drefnodd bethau gyd â'r fath rymmusder a llwyddiant, fel na ddarfu i neb arall, a'r na chawsai fwy dechreuad, wneuthur o'i flaen. Llywodraethwyr Parthiaidd hefyd a ddanfonid y ffordd honno, a dalasant barch mawr iddo. A'r anrhydedd a delid iddo gan y Babiloniaid a ymddangosai yn rhy fychan yn eu golwg hwy, ac is-law ei haeddiant. Iё, holl achosion Mesopotamia a ymorphwysai arno ef: ac efe a flodeuodd fwy-fwy yn y sefyllfa hon tros bymtheg mlynedd.

Ond fel ag yr oedd eu hachosion mewn amgylchiad mor flodeuog, tyfodd i fynu drallodion yn eu mysg ar yr achos canlynol. Pan unwaith y gŵyrasant o'r llwybr hynny o rinwedd, yn mha un y cyrraeddasant y fath awdurdod, hwy a droseddasant gyfreithiau eu hynafiaid, ac a syrthiasant tan lywodraeth eu chwantau a'u pleserau. * Rhyw un o'r Parthiaid, yr hwn a ddaethai fel cadflaenor ar fyddin i'r parthau hynny, ydoedd â gwraig yn ei ganlyn, yr hon oedd â gair mawr am ei chymmwysderau, ac a ryfeddid tu hwnt i bawb eraill am ei harddwch. Anileus, brawd Asineus, un ai fe glybu am ei thegwch gan eraill, neu a'i gwelodd ei hun; ac felly a ddaeth ar unwaith yn garwr ac yn elyn iddi: mewn rhan o herwydd nad oedd gobaith iddo feddiannu y wraig hon, ond trwy awdurdodi arni fel caethwraig: ac mewn rhan o herwydd na's gallai orchfygu ei serchogrwydd tu ag atti. Cyn gynted gan hynny ag y cyhoeddwyd ei gwr yn elynol tu ag attynt, a syrthio o hono mewn brwydr, gweddw y gwr hwn a briodwyd â'i charwr. Etto ni ddaeth hi i'w dŷ heb beri llawer o flinder i Anileus ei hun, ac i Asineus; ond hi ddygodd ddrygau mawr arnynt trwy'r achlysur a ganlyn. Gan ei chymmeryd ymaith yn gaethes ar farwolaeth ei gwr, hi guddiodd ddelwau y duwiau hynny a berthynent i'w gwlad, ac oedd eiddo hi a'i gwr. Yn awr † defod neu arferiad y wlad

* Ynghylch B. A. 55.

† Yr arfer hon o gymmeryd eu duwiau gyd â hwynt, gan y Mesopotamiaid, pa le bynnag yr ymdeithient, ydoedd mor hyned a dyddiau Jacob; pan wnaeth ei wraig Rachel yr un peth, Gen. xxxi, 19, 30...35. Ac nid yw yma i'w adael heibio heb ei sylwi, pa fawr drueni a ddaeth ar yr Iuddewon hyn, o herwydd iddynt ddioddef un o'u blaenoriaid i briodi gwraig eilun addolgar, yn wrthwyneb i gyfraith Moses. Am hn. achos gwel y nôd ar XI. 5.

honno yw, i fod gan bawb yr eilunod y maent yn eu haddoli yn ei tŷau eu hunain; a'u dwyn ymaith gyd â hwynt pan symmudont i dir dieithr; yn gyttun a pha ryw ddefod hithau a ddygodd ei heilunod gyd â hi. Yn awr ar y dechreu hi a'u haddolai hwynt yn ddirgelaidd. Ond wedi ei dyfod yn wraig Anileus, hi a'u haddolodd yn ei dull arferedig gynt, a chyd â'r un drefn ag yn amser ei gwr cyntaf. Ar yr hyn y rhai pennaf o'u cyfeillion a feiodd arno ef yn gyntaf, nad oedd yn byw yn ol arfer yr Hebreaid, nac yn cyflawni yr hyn oedd gyttunol â'u cyfreithiau, trwy briodi gwraig ddieithr; ac un oedd yn troseddu appwyntiad eu haberthau a'u defodau crefyddol. Fod arno ddyled i ystyried, rhag wrth ei foddhau ei hun â gormod o bleserau cnawdol, y byddai mewn perygl o golli ei dywysogaeth ar gyfrif harddwch ei wraig, a'r oruchel awdurdod yr hon trwy fendith Duw, a gyrraeddasai hyd atti. Ond ni ynnillasant hwy oll mo hono ef; ïe, efe a laddodd un o honynt, yr hwn a barchai yn fawr o'r blaen, o herwydd y rhyddid a gymmerodd gyd âg ef. Y gwr hwnnw pan ydoedd yn marw, a weddiodd am gospedigaeth i ddyfod ar Anileus, ei fwrddrwr, ac ar Asineus hefyd; ac a erfyniodd am i'w holl gymdeithion ddyfod i'r cyffelyb ddiben oddiwrth eu gelynion: ar y ddau gyntaf fel prif-awdwyr y drygioni hwn; ac ar y lleill fel rhai na chynnorthwyent ef, pan ddioddefodd yn amddiffyniad eu cyfreithiau: yn awr y rhai diweddaf hyn a ofidiasant yn fawr; etto hwy a gyd-ddygent, o herwydd cofio o honynt eu bod wedi cyrraedd i'w presennol gyflwr o happusrwydd yn unig trwy eu gwroldeb hwynt. Ond pan hefyd y clywsant am addoliad y duwiau y mae'r Parthiaid yn ei gwasanaethu; edrychasant ar y dirmyg a wnaethai Anileus i'w cyfreithiau yn beth na ellid ei oddef yn hwy: a nifer mwy o honynt a ddaeth at Asineus, âg uchel achwyniad yn erbyn Anileus: gan ddywedyd wrtho ddigwydd yn dda iddo ef o hono ei hun ganfod yr hyn oedd yn fanteisiol iddynt; ond fod yn awr yn bryd diwygio yr hyn a wnaethid ar gam, cyn i'r bai ag oedd yn euog o hono brofi yn ddistryw iddo ei hun, ac i'r gweddill o honynt oll. Chwanegasant, ddarfod gwneuthur priodas â'r ddynes heb eu cydsyniad hwy, ac heb ddim parch i'w hen gyfreithiau; a bod yr addoliad ag ydoedd hi yn ei roddi i'w heilunod yn beth gwaradwyddus i'r Duw yr oeddynt hwy yn ei addoli. Yn awr yr oedd Asineus yn cydnabod bai a throsedd ei frawd; a'i fod eisoes yn achos o niweid mawr; ac y byddai felly mewn amser i ddyfod. Etto yr oedd efe am gyd ddwyn â hynny oblegid ei ewyllys da i berthynas mor agos; ac a'i maddeuodd ar gyfrif fod ei frawd wedi ei lwyr orchfygu gan y tuedd drygionus hwn. Ond fel yr oedd mwyfwy ychwaneg o bobl yn dyfod atto yn feunyddiol, a'u hachwynion yn uwch yn ei erbyn; efe o'r diwedd a lafarodd wrth Anileus, gan ei geryddu am ei weithred ragflaenol; a dymuned arno rhagllaw ddodi heibio yr hon a briodasai, a'i danfon yn ol at ei pherthynasau. Ond ni ynillid ddim arno trwy 'r ceryddon hyn: canys â'r wraig yn canfod y fath derfysg yn cyfodi ym mysg y bobl o'i hachos hi; a chan ofni am Anileus, rhag i ryw niweid ddigwydd iddo oblegid ei gariad tu ag atti; hi gymmysgodd wenwyn â bwyd Asineus a thrwy hynny a'i cymmerodd ef ymaith: a dychymygodd ei bod yn awr yn sicr o orchfygu, pan yr oedd ei gwr i fod yn farnwr ar yr hyn a wnaed yn ol hynny.

Anileus ei hun yn awr a gymmerodd y llywodraeth, ac a arweiniodd ei fyddin yn erbyn maesdrefi Mithridates, yr hwn oedd ŵr o awdurdod pennaf ym mhlith y Parthiaid, ac a briodasai ferch Artabanus. Efe hefyd a'u hanrheithiodd hwynt; ac ym mysg yr ysglyfaeth y cafodd lawer o arian, a nifer o gaeth-weision; megis hefyd rifedi mawr o ddefaid; a llawer o bethau eraill, y rhai pan feddiennir hwynt a wnant ddynion o amgylchiad dedwydd. Yn awr pan glybu Mithridates, yr hwn oedd yno y pryd hynny, fod ei faes-drefi wedi eu cymmeryd; yr ydoedd yn dra digllon pan gafodd fod Anileus wedi dechreu yn gyntaf ei niweidio ef, a'i golledu o'i feddiannau, pan na chynnygiasai unrhyw amharch iddo ymlaenaf: ac efe a gasglodd ynghyd gynnifer o wŷr meirch ag a fedrodd; a'r rhai hynny allan o'r nifer ag oedd gymmwysaf o ran oedran i ryfel, ac a ddaeth i ymladd âg Anileus. Ac wedi cyrraedd i un o'r pentrefi o'r eiddo ei hun, efe a arhosodd yn llonydd yno, megis yn amcanu ymladd âg ef y dydd canlynol, o herwydd ei fod yn Sabboth, y dydd ar ba un y gorphwys yr Iuddewon. A phan hyspyswyd hyn i Anileus, gan ddieithr-

ddyn o Syriag, trigianydd un o'r pentrefi gerllaw yno; yr hwn nid yn unig a roes gyfrif teg iddo o amgylchiadau eraill, ond a ddywedodd pa le y byddai gwledd gan Mithridates. Anileus, gan hynny, a swpperodd yn brydlon, ac a wnaeth ymgyrch yn y nos, gyd â bwriad i syrthio ar y Parthiaid, tra fyddent yn anwiliadwrus, ac heb wybod pa beth i'w wneuthur. Felly efe a syrthiodd arnynt ynghylch y bedwaredd wylfa o'r nos; a rhai o honynt a laddodd tra yr oeddynt yn eu cwsg, ac eraill a ddododd i ffoi; a chymmerodd Mithridates yn fyw, ac a'i* gosododd yn noeth ar assyn; yr hyn ym mysg y Parthiaid a gyfrifir yn waradwydd mwyaf ag sydd bossibl. Ac wedi ei ddwyn i le coediog yn y dull hwnnw, a'i gymdeithion yn ei berswadio i ladd Mithridates, dywedodd iddynt ei feddwl ei hun i'r gwrthwyneb, nad iawn ydoedd lladd gwr ag oedd yn un o'r teuluoedd pennaf ym mhlith y Parthiaid, ac a anrhydeddasid yn fawr â phriodas ag un o'r brenhinol deulu: Fod yr hyn a wnaethent hyd yn bresennol yn ddioddefol; canys er niweidio o honynt Mithridates, etto os achubent ei fywyd, ei leshad hwn a goffeid ganddo er mantais i'r rhai a'i caniattaodd iddo. Ond os unwaith y rhoddid ef i farwolaeth, ni orphwysai'r brenin nes iddo wneud lladdfa fawr ar yr Iuddewon oedd yn preswylio yn Babilon: am ddiogelwch pa rai y dylent hwy ofalu, yn gystal ar gyfrif eu perthynas iddynt, ac o herwydd os digwyddai rhyw anhap, na fyddai ganddynt un lle arall i gilio iddo, tra'r oedd blodau eu hieuengctyd tano ef. Trwy'r araith hon wedi ei gwneuthur yn y cyngor, efe a'u perswadiodd i ymddwyn yn gyfattebol. Felly Mithridates a ryddhawyd. Ond wedi iddo fyned ymaith, ei wraig a'i gwaradwyddodd; oblegid er bod o hono yn fab-ynghyfraith i'r brenin, esgeuluso o hono ddial ei hun ar y rhai a'i hammarchasent ef: ond ei fod heb ofalu dim ynghylch hynny; eithr boddloni ddarfod ei wneuthur yn gaethwas gan yr Iuddewon, a chael ei ryddhau oddiwrthynt hwy: a hi a barodd iddo fyned yn ol fel dyn gwrol: os amgen y tyngai trwy dduwiau y brenhinol deulu, y byddai sicr o ddattod ei phriodas ag ef. Ar hyn mewn rhan o herwydd na's gallai oddef ei gwawd-iaith feunyddiol; a'i fod hefyd yn ofni ei thrahausdra; rhag iddi o ddifrif geisio ysgar ei phriodas; efe, er yn anewyllysgar, a gynhodd ynghyd fyddin liosog drachefn hyd ag y gallai, ac a aeth ymaith gyd â hwynt: gan ei ystyried yn beth na ellid ei oddef yn hwy, fod iddo ef, fel Parthiad fod yn ddyledus i'r Iuddewon am ei gadwedigaeth pan oeddynt wedi bod yn rhy galed iddo yn y rhyfel.

Ond cyn gynted ag y darfu i Anileus ddeall fod Mithridates yn dyfod gyd â byddin fawr yn ei erbyn, meddyliodd ei fod yn beth di-ystyr iddo aros o amgylch y llynnoedd, a pheidio cymmeryd y cyfleustra cyntaf o gyfarfod ei elynion; ac efe a obeithiodd am yr un llwyddiant, ac y trechai hwynt fel yn arferol. Yn ganlynol efe a arweiniodd ei fyddin allan, a llawer yn rhagor a ymgyssylltodd ag ef, i'r diben i ymroddi eu hunain i yspeilio pobl eraill: ac mewn trefn i frawychu y gelyn drachefn â'u rhifedi. Ond wedi cyrchu o honynt hyd ddeg a phedwar ugain o stadau, tra'r oedd eu ffordd yn hollol sych ac yn dywodlyd; ac ynghylch canol y dydd yr oeddynt wedi myned yn dra sychedig; a Mithridates a ymddangosodd ac a syrthiodd arnynt, fel ag yr oeddynt mewn cyfyngder o eisiau dwfr. Ar ba gyfrif, ac o herwydd yr amser o'r diwrnod, nid oeddynt alluog i gynnal eu harfau. Felly Anileus a'i wŷr a ddodwyd i ffoi yn waradwyddus, wedi ymdrechu mewn anobaith ac eisiau, â rhai mewn amgylchiad cyssurus: felly lladdfa fawr a wnaethpwyd, ac amryw filoedd a syrthiasant. Yn awr, Anileus, a'r holl rai a safent o'i amgylch, a redasant ymaith mor gyflym ag a allent i goedwig; ac a ganiattasant i Mithridates y boddlonrwydd o ynnill buddugoliaeth fawr arnynt. Ond daeth i mewn yn awr at Anileus ffrwd o ddyhirwyr, y rhai ni ofalent ond ychydig tros eu bywydau eu hunain, os gallent ond ynnill rhyw esmwythder presennol: yn gymmaint ag y darfu iddynt hwy trwy ddyfod fel hyn atto wneuthur i fynu liaws y rhai a gollasid yn y frwydr. Etto nid oedd y dynion hyn yn debyg i'r rhai a syrthiasent, o herwydd eu bod yn fyrbwyll ac yn ammhrofiadol mewn rhyfel. Pa fodd bynnag gyd â'r rhai hyn efe a ddaeth

* Yr arferiad yma yn Syria a Mesopotamia, o ddodi dynion ar assynod mewn ffordd o wawd, a gedwir i fynu etto yn Damascus, Syria; ym mha le, mewn trefn i ddangos eu dirmyg ar y Cristionogion, ni oddef y Tyrcaid iddynt farchogaeth ar geffylau, ond ar fulod yn unig; fel y tystia Mr. Maundrel i ni, t. d. 128.

ar warthaf pentrefi y Babiloniaid; a difrod mawr a fu ar bob peth yno trwy'r niweid a wnaeth Anileus iddynt. Felly y Babiloniaid, a'r rhai a fuasent eisoes yn y rhyfel, a ddanfonasant i Neerda, at yr Iuddewon oedd yno, i ofyn Anileus ganddynt. Ac er na chydsyniasant â'u gofynion, (canys pe buasent ewyllysgar i'w roddi i fynu, nid oedd yn eu gallu wneuthur hynny,) etto'r oeddynt yn ewyllysio ymheddychu â hwynt. I'r hyn yr attebodd y lleill, fod arnynt hwy eisiau hefyd sefydlu ammodau heddwch; ac a ddanfonasant wŷr, ynghyd â'r Babiloniaid, y rhai a ymddiddanasant âg Anileus yn eu cylch hwynt. Ond y Babiloniaid wedi golygu ei sefyllfa, a deall pa le yr oedd Anileus a'i wŷr yn gorphwys, a syrthiasant yn ddirgel arnynt, pan oeddynt yn eu meddwdod, ac wedi syrthio i drymgwsg; a hwy a laddasant gynnifer ag a ddaliwyd heb eu harswydo hwynt: a lladdasant Anileus ei hun hefyd.

Y Babiloniaid oeddynt yn awr wedi eu rhyddhau oddiwrth ruthrau drygfawr Anileus, yr hyn ydoedd fawr attalfa i effeithiau'r casineb yr oeddynt yn ei ddwyn at yr Iuddewon. Canys yr oeddynt agos bob amser yn ymrafaelu o herwydd gwrthwynebrwydd eu cyfreithiau: a pha blaid bynnag a dyfai yn fwyaf ëon, hwy a ymosodent yn erbyn y lleill. Ac ar yr amser hwn yn enwedig y bu, ddarfod, ar ddinystr plaid Anileus, i'r Babiloniaid ruthro ar yr Iuddewon. Hyn a barodd i'r Iuddewon hynny fod mor awyddus i ddial y niweid a gawsent gan y Babiloniaid; ac megis nad oeddynt yn alluog i ymladd â hwynt, nac i oddef cydfywiolaethu, hwy a ymadawsant ymaith i Seleucia, prif-ddinas y parthau hynny; a adeiladasid gan Seleucus Nicator, a'r hon a gyfanneddid gan amryw o'r Macedoniaid, ond gan fwy o'r Groegiaid. Nid ychydig hefyd o'r Syriaid a gyfanneddodd yno. Ac yno y ffodd yr Iuddewon, ac a fuont fyw bum mlynedd, heb ddim aflonyddwch. Ond yn y chwechfed flwyddyn daeth haint ar yr Iuddewon hynny yn Babilon, yr hyn a barodd symmudiadau newyddion ar drigfa dynion yn y ddinas honno: ac megis y daethant i Seleucia, digwyddodd iddynt etto drymmach trallodion ar y cyfrif hwnnw.

Yn awr, dull ymddygiad pobl Seleucia, y rhai oeddynt Roegiaid a Syriaid, ydoedd yn gyffredin yn amrafaelgar ac yn llawn anghydfod; er bod y Groegiaid yn rhy galed i'r Syriaid. Wedi gan hynny i'r Iuddewon ddyfod yno, a thrigo yn eu mysg, cyfododd ymryson drachefn, a'r Syriaid a aethant yn rhy drech i'r lleill, trwy gynnorthwy yr Iuddewon, y rhai ydynt ddynion a ddiystyrant beryglon, ac yn dra pharod i ymladd ar unrhyw achos. Yn awr, wedi i'r Groegiaid gael y gwaethaf yn yr ymrysoniad hwn, a gweled nad oedd ganddynt ond un ffordd i adferyd eu rhyddid o'r blaen; a hynny trwy rwystro'r cyttundeb rhwng yr Iuddewon a'r Syriaid; hwy a ymddiddanasant â'r Syriaid ag ydoedd o'r blaen o'u cydnabod, gan addaw bod yn heddychlon ac yn gyfeillgar â hwynt. Yn ganlynol, hwy a gyttunasant yn llawen i wneuthur hynny. Ac wedi penderfynu hyn gan y rhai pennaf o bob cenedl, sefydlwyd y cymmod yn fuan. Ac wedi cyttuno o honynt felly, deallasant bob un mai'r arwydd pennaf o'r fath undeb a fyddai eu cyffredin gasineb o'r Iuddewon. Yn ganlynol hwy a ruthrasant arnynt, ac a laddasant uwchlaw deng mil a deugain o honynt. Ië'r Iuddewon a lwyr ddifethwyd, oddigerth ychydig a ddiangodd trwy'r tosturi a ddangosodd eu cyfeillion a'u cymmydogion tu ag attynt, i'r diben i achub eu hunain. Hwynt-hwy a aethant i * Ctesiphon, dinas Roegaidd, a'i sefyllfa yn agos i Seleucia, ym mha le yr erys brenin Parthia tros y gauaf bob blwyddyn; a'r lle y cedwir y rhan fwyaf o'i drysorau ynddynt. Ond nid oedd gan yr Iuddewon yma un cartrefle sicr; ac ni ofalai y rhai hynny o Seleucia ond ychydig am anrhydeddu'r brenin. Yn awr, holl genedl yr Iuddewon oeddynt tan ofn, yn gystal o'r Babiloniaid a'r Seleuciaid; oblegid i'r holl Syriaid oedd yn byw yn y mannau hynny gyttuno â'r Seleuciaid yn y rhyfel yn erbyn yr Iuddewon. Felly y rhan fwyaf o honynt a gasglasant eu hunain ynghyd, ac a aethant i Neerda a Nisibis; ac a gawsant ddiogelwch yno trwy gadernid y dinasoedd hyn: ac heblaw hynny eu trigolion, y rhai oeddynt dra lliosog, oeddynt oll yn ddynion rhyfelgar. A dyma oedd cyflwr yr Iuddewon y pryd hyn yn Babilonia.

* Cymmerwch yma nôd Spanheim: "Ctesiphon ydoedd ddinas berthynol i'r Groegiaid, ac yn agos at Seleucia. Brenin Persia a fwriai'r gauaf yno bob amser. Y brenin Pacorus a ddygodd fwy o drigolion i sefydlu ynddi; gan adeiladu mur o'i hamgylch: a than ei henw Groegaidd a'i gwnaeth yn ddinas oreu yn Persia: y nesaf i ba un ydoedd Seleucia, &c."

# LLYFR XIX.

*Yn cynnwys Yspaid Tair Blynedd ar Ddeg a hanner ar Hugain.*

## O YMADAWIAD YR IUDDEWON O BABILON, HYD LYWODRAETHIAD FADUS, Y RHAGLAW RHUFEINAIDD.

### PENNOD I.

* *Am lofruddiaeth Caius gan Cherea.*

YN awr, † Caius ni ddangosodd yn unig ei wallgofrwydd yn gwneuthur niweid i'r Iuddewon yn Jerusalem, neu y rhai a drigasant yn y gymmydogaeth; ond a oddefodd iddo fyned ar led trwy amryw barthau y ddaear a'r moroedd, cyn belled ag y cyrhaeddai llywodraeth y Rhufeiniaid; gan ei lenwi â deng mil o ddrygau: mor aml yn wir mewn rhifedi na adroddir gan un hanes flaenorol. Ond Rhufain ei hun a deimlodd yr effeithiau mwyaf truenus o'r hyn a wnaeth efe; pan na chyfrifodd hi mewn un modd yn fwy anrhydeddus nag eraill o'r dinasoedd: ond efe a erlidiodd ei dinasyddion, ac yn enwedig y senedd â'r gwŷr ardderchog, a'r rhai cyfrifol o herwydd enwogrwydd eu henafiaid. Efe hefyd a gynnwysai filoedd o ddyfeision yn erbyn y rhai o radd marchogion, fel y gelwid hwynt; y rhai a berchid gan y dinasyddion yn gydradd mewn derchafiad a chyfoethogrwydd â'r seneddwyr eu hunain; o herwydd mai o honynt hwy yr etholid y seneddwyr. Y rhai hyn a driniai mewn modd tra dirmygus, ac a'u symmudodd oddiar y ffordd, wedi unwaith eu lladd, a chymmeryd eu meddiannau yn ysglyfaeth: oblegid ei fod yn gyffredin yn lladd dynion mewn trefn i feddiannu eu trysorau. Efe hefyd a haerodd ei dduwdeb neu ddifinyddiaeth: ac a orchymmynodd i fwy anrhydedd gael ei dalu iddo gan ei ddeiliaid, nag oedd ddyledus ei roddi i neb o ddynolryw. Yr oedd hefyd yn mynych gyrchu i'r deml o eiddo Jupiter, a elwid ganddynt hwy y cabidyldy; yr hon a gyfrifant yn fwyaf cyssegredig o'u holl demlau: ac yr oedd ganddo hyfdra ddigon i alw ei hun yn frawd Jupiter. A llawer peth rhyfygus a wnaeth fel dyn gwallgofus. Megis pan osododd bont o ddinas Dicearchia i Misenum, dinas arall ar lan môr, yn ddeg ar hugain ystadau o led o'r naill benrhyn i'r llall, fel y mesurid y môr. A hyn a wnaethpwyd o herwydd ei fod yn ei gyfrif yn orchwyl tra anniben i rwyfo trosodd mewn llong fechan: ac a feddyliodd fod yn addas iddo ef wneuthur y bont honno, gan ei fod yn arglwydd ar y môr, ac y gallai ei rwymo i ddangos arwyddion o ufudd-dod iddo yn gystal â'r tir. Felly efe a gynnwysodd yr holl borthladd o'r tu mewn i'w long, ac a yrrodd ei gerbyd trosti; ac a dybiodd, gan ei fod yn dduw, yn gymmwys iddo drafaelio ar hyd gyfryw ffyrdd a'r rhai hyn. Ac nid arbedodd efe wneuthur yspail o neb rhyw demlau Groegaidd; ond a orchymmynodd i'r holl gerfiadau, ac addurniadau eraill y delwau, ynghyd â'r anrhegion a gyssegrasid iddynt gael eu dwyn atto ef: gan ddywedyd na ddylai y pethau goreu gael eu gosod yn un man ond yn y lle goreu: a'r lle hwnnw ydoedd dinas Rufain. Efe hefyd a addurnodd ei dŷ ei hun, a'i erddi, â'r pethau cywrain a ddygasid o'r temlau hynny, ynghyd â'r teiau y gorweddai ynddynt wrth drafwyo tros holl Itali. Oddiwrth yr hyn ni phettrusodd roddi gorchymmyn fod i ddelw Jupiter Olympius, a gyfenwid felly o herwydd yr anrhydedd a roddid iddi yn y chwareuon Olympiaidd gan y Groegiaid, yr hon ydoedd gelfyddwaith Phidias, yr Atheniad, gael ei dwyn i Rufain. Etto ni chafodd yn hyn ei amcan: o herwydd i'r celfyddydwyr ddywedyd wrth Memmius Regulus, yr hwn a orchymmynasid i symmud delw Jupiter, fod ei chelfydd-waith yn gyfryw ag a ddifethid os gwnaed symmudiad

* D. S. Yn y bennod hon, a'r tair pennodau canlynol, y mae genym, yn ol fy nhyb i, helaethach ac egluraich hanes am ddifethiad Caius, a chanlyniad Claudius yn y llywodraeth, nag sydd gennym yn un lle arall. Rhai achosion o hyn ysgatfydd ydoedd, mawr gasineb Josephus tu ag at deyrn-ormesiad; a'r pleser yr ydoedd yn ei gael wrth adrodd hanes difethiad y fath orthrymwr creulon ag ydoedd y Caius Caligula hwn: megis hefyd y waredigaeth a gafodd ei genedl ei hun trwy hynny.

† A elwid Caligula gan y Rhufeiniaid.

arni. Yr ydoedd sôn hefyd ddarfod i Memmius, yn gystal ar y cyfrif hwnnw, ac ar gyfrif rhyw achosion pwysfawr eraill, ddodi heibio ei thynniad i lawr; ac ysgrifennu o hono at Caius i ymddiffyn ei hun, am na chyflawnasai yr hyn yr oedd ei epistol yn ei ofyn. Ac mai pan oedd mewn perygl oblegid hynny o golli ei fywyd, efe a achubwyd trwy ddigwydd i Caius gael ei ddifetha ei hun, cyn gorchymmyn ei ddodi ef i farwolaeth.

Ië, ffolineb a gwallgof Caius a gyrhaeddodd yr uchder hyn: pan anwyd merch iddo, efe a'i cymmerodd yn ei freichiau i'r cabidyldy, ac a'i gosododd ar liniau y ddelw, ac a ddywedodd fod y plentyn yn gyffredin iddo ef ac i Jupiter, a bod iddi ddau dad; ond pa un oedd fwyaf gadawodd hynny heb ei benderfynu. Ac etto ei ddeiliaid a gyd-ddygasant âg ef yn y fath afresymmoldeb. Efe hefyd a ganiattaodd i gaeth-weision wneud achwyniad yn erbyn eu meistriaid, am ba ryw feiau a ddewisent roddi arnynt: canys y cyfryw achwynion neu gyhuddiadau oeddynt beryglus; o herwydd eu bod, mewn rhan fawr, yn cael eu gwneuthur i'w foddhau, ac wrth ei gyfarwyddyd ef. Yn gymmaint ag i * Pollux, caethwas Claudius, feddu yr hyfdra o osod achwyniaeth yn erbyn Claudius ei hun: ac nid oedd gywilydd ar Caius i fod yn bresennol i wrando barn o fywyd neu farwolaeth a roddid ar ei ewythr, mewn gobaith o'i gymmeryd ymaith; er na ddarfu i hynny lwyddo yn ol ei feddwl. Ond wedi iddo lenwi y byd cyfanneddol oedd tan ei lywodraeth â gau-gyhuddiadau ac erlid, a bod yn achos o ddirmyg mwyaf caeth-weision tu ag at eu meistri, y rhai yn wir mewn mesur a lywodraethent arnynt, gosodwyd amryw fradwriaethau dirgel yn ei erbyn: rhai o ddigter, fel dynion am ddial eu hunain, ar gyfrif y dioddefiadau yr oeddynt eisoes wedi myned tanynt oddiwrtho ef: ac eraill a wnaethant gynnygiad ar gymmeryd ymaith ei fywyd cyn iddynt syrthio i'r fath drallodion. Ei farwolaeth a ddaeth mewn amser tra phrydlon, er amddiffyniad cyfreithiau pob gwledydd; ac ydoedd ag effaith mawr ganddo ar lwyddiant y cyffredin. A digwyddodd mewn amser tra dymunol i'n cenedl ni yn enwedigol; yr hon oedd agos i gael ei difetha pe na laddesid ef ar fyrder. Ac yr wyf yn cyfaddef fy mod yn cael fy nhueddu i roddi cyflawn hanes am y matterion hyn; yn enwedig gan ei fod yn eglur ddangos awdurdod rhagluniaeth Duw, ac yn gweini cysur i'r rhai sydd tan drallodion; a rhybudd teg i'r sawl a ddychymmygant na fydd diwedd ar eu dedwyddwch; nac y dygir hwynt ganddo yn y diwedd i anorphenol drueni; os na arweiniant eu bywyd wrth reol rhinwedd.

Yr ydoedd tri math o fradwriaethau wedi eu llunio, mewn trefn i gymmeryd ymaith fywyd Caius; a phob un o'r rhai hyn yn cael eu trefnu gan wŷr godidog. Emilius Regulus, un a anesid yn Cordoba, yn yr Yspaen, a gafodd rai gwŷr ynghyd; ac a ddymunasai gymmeryd Caius ymaith trwyddynt hwy, neu ganddo ei hun. Cydfradwriaeth arall a osodwyd ganddynt tan arweiniad Cherea Cassius, swyddog y llu maerol. Minucianus Annius ydoedd hefyd un o gyfrifiad mawr, ac ym mysg y rhai a ymbarottoisent i wrthwynebu ei gamrwysg neu orthrymder. Yn awr, amrywiol achlysuron casineb y gwŷr hyn, a'u cyd-fradwriaeth yn erbyn Caius, ydoedd y rhai a ganlyn: Regulus ydoedd â chanddo ddigllonedd a chasineb tu ag at bob math o anghyfiawnder: canys yr ydoedd efe o naturiaeth yn rhydd ei feddyliau, ac yn ymadroddwr hyawdl; ac ni ddarguddiai ei gynghorion. Felly efe a'u hamlygodd i amryw o'i gyfeillion; ac i eraill a ymddangosai iddo yn ddynion astud a bywiog. Minucianus a ddaeth i mewn i'r cyd-fradwriaeth, o herwydd yr anghyfiawnder a wnaed i Lepidus, ei gyfaill neillduol, ac un o eirda rhagoraf o'r holl ddinasyddion, yr hwn a ddarfu i Caius ei ladd: ac hefyd o herwydd ei fod yn ofni am dano ei hun; gan fod llid Caius yn tueddu at wneud lladdiad o bawb fel eu gilydd. A Cherea a ddaeth i mewn, o herwydd ei fod yn ei chyfrif yn weithred deilwng o ddyn dewrwych, ac ewyllysiwr da i'r cyffredin, i ladd gorthrymwr: ac yr ydoedd yn cywilyddio o herwydd y gwaradwyddiadau yr oedd yn aros tanynt oddiwrth Caius, fel pe cyfrifai ef yn un ofnog neu wan-galon: ac megis hefyd ei fod mewn perygl yn feunyddiol oddiwrth ei gymdeithasrwydd âg ef, a'r sulw a wnai arno. Y gwŷr hyn a wnaethant gynnygiad o'r antur yma i eraill a gyd-ymdrechent â hwy; y

* Annogaeth Caius i gaethwas i gyhuddo ei ewythr Claudius, yr hwn oedd ei feistr, a nodir yn neillduol gan Suetonius, pen. IX.

rhai a ganfyddent y niweid a wnaed iddynt; ac a ewyllysient i ddifethiad Caius gymmeryd lle trwy eu cyd-gynnorthwy y naill i'r llall, fel y diangent rhag cael eu lladd eu hunain wrth ei gymmeryd ef ymaith. Tybiasant y byddai iddynt ysgatfydd gael eu dymuniad; ac y byddai yn beth dedwyddol iddynt wneuthur yr hyn a ryngai fodd cynnifer o wŷr godidog ag oedd awyddus i gydgyfrannogi â hwynt yn eu hamcanion, er gwaredigaeth i'r ddinas a'r llywodraeth, er peryglu eu bywydau eu hunain. Ond er hyn Cherea ydoedd yr un ag oedd yn blaenori arnynt oll: yn gystal oddiar ddymuniad i gael iddo ei hun yr enw mwyaf; ac hefyd o herwydd ei agosrwydd i bresennoldeb Caius, gyd â llai o berygl, o herwydd ei fod yn un o wŷr y cyngor, ac a allai wrth hynny yn fwy hawdd ei ddifetha.

Yn awr, ar yr amser hwn y daeth o amgylch y march-redfa, neu'r chwareuon Circensiaidd, edrychiad pa rai a chwennychid yn fawr gan bobl Rhufain. Canys hwy a ddeuant yn fywiog iawn i'r hippodrome * ar y cyfryw amserau; ac a wnaent eu petisiwnau at eu hymmerawdwyr yn lliaws mawr, am yr hyn a fyddent yn sefyll mewn angen o hono: a'u gofyniad, yn gyffredin, a ganiattaid gyd â pharodrwydd ac ewyllysgarwch iddynt. Ond ni † wrandawai efe eu deisyfiadau: ac wedi i'w cwynion gynnyddu, efe a ddanfonai filwyr, rai un ffordd, ac eraill ffordd arall; gan orchymmyn iddynt gymmeryd gafael ar y rhai a wnaent yr achwynion; ac heb ychwanag o ymwneud yn eu cylch, eu dwyn allan, a'u rhoddi i farwolaeth. Y rhai hyn ydoedd orchymmynion Caius, y rhai a barai iddynt eu cyflawni: a nifer y rhai a leddid ar yr achos yma oeddynt fawr iawn. Yn awr, y bobl a welsant hyn, ac a'i goddefasant mor bell, fel y gadawsant heibio eu hachwynion: o herwydd iddynt ganfod fod y petisiwnau hyn ynghylch taledigaeth eu harian yn dwyn marwolaeth ddisymmwth arnynt. Y pethau hyn a wnaeth i Cherea yn fwy tanbaid ymroddi i'r fradwriaeth i'w erbyn, i'r diben i roddi terfyn ar y creulonder hwn o eiddo Caius. Efe gan hynny ar amryw brydiau a feddyliodd syrthio ar Caius, ïe pan fyddai yn gwledda: etto fe ymattaliodd ei hun oddiar ryw ystyriaethau. Nid fod ganddo un amheuaeth ynghylch ei ladd ef; ond trwy wylio am amser cyfaddas, fel na rwystrid y weithred, ond y gallai roddi yr ergyd yn y fath fodd, ag y byddai sicr o atteb ei bwrpas.

Cherea a fuasai yn y fyddin tros hir amser; etto nid oedd yn cael ei foddhau wrth ymddiddan cymmaint â Caius. Ond Caius a'i gosodasai ef i godi'r deyrnged, a dyledion eraill, y rhai pan na thelid mewn iawn bryd, a fforffettid i drysorfa Cæsar: ac efe a wnaethai beth oediad yn eu casgliad hwynt, o herwydd ddarfod dyblu y beichiau hyn: ac a roisai le yn hytrach i dynerwch ei dymmer ei hun, nag i erwindeb gorchymmyn Caius. Ië yn wir, efe a gythruddodd Caius i ddigter trwy arbed y bobl; a thosturio wrth gyflwr gorthrymmus y rhai y gofynnai y trethoedd ganddynt. A Caius a'i gwaradwyddodd am ei arafwch a'i esmwythder, trwy fod mor faith ynghasgliad y trethoedd. Ac yn wir ni ddarfu iddo yn unig ei ddigio mewn pethau eraill; ond pan ddywedai wrtho y gair-gwilio am y diwrnod, efe a roddai iddo eiriau mursenaidd, a'r rhai hynny o ddull tra gwaradwyddus. A'r geiriau-gwylio hyn a roddodd allan, megis arwyddion cyntaf rhyw ddirgeledigaethau, a fuasai ei hun yn awdwr o honynt. Yn awr, er iddo ar amserau ymwisgo â dillad merch, a darfod ei rwymo mewn gwisgoedd cyfrodedd, a gwneuthur llawer o bethau eraill, mewn trefn i beri i'w gymdeithion ei gamgymmeryd am fenyw neu ddynes: etto darfu iddo ef, mewn ffordd o waradwydd, ddannod i Cherea ei ymddygiad merchedaidd. Ond pan dderbyniodd Cherea y gair-gwylio ganddo, yr ydoedd yn ddig o'i herwydd; ac a ydoedd etto yn ddiccach, trwy ddarfod ei roddi i eraill, fel peth a chwarddid am ei ben gan y rhai a'i derbynient; yn gymmaint ag i'w gyd-swyddogion ei wneuthur yn ddefnydd eu cellwair, neu oganair: canys hwy a ragfynegent y dygai iddynt ryw eiriau gwyliadwriaeth anarferol, pan fyddai ynghylch derbyn ei air-gwylio oddiwrth Cæsar: a thrwy hynny y gwnaent wawd o hono. Ar y cyfrifon yma gan hynny'r ymgefnogodd i gymmeryd cymheiriaid iddo; megis â chanddo

* Chwareule cauedig. † Y gyfraith erwin hon o godi teyrnged neu drethoedd gan bawb, gyd â'r creulonder mwyaf, a nodir hefyd gan Suetonius, pen. XI.

resymmau cyfiawn i'w ddigllonedd yn erbyn Caius. Yn awr, yr ydoedd un Pompedius, seneddwr; yr hwn a aethai agos trwy bob swydd yn y llywodraeth, ond mewn modd arall yn Epicuriad; ac am y rheswm hwnnw yr ydoedd yn caru bywyd o esmwythder. Yn awr, Timidius, gelyn iddo, a wnaethai yn hyspys i Cæsar, ddarfod iddo arfer geirian gwaradwyddus i'w erbyn ef, a chymmeryd o hono Quintilia yn dyst o honynt. Dynes ydoedd hi a hoffid gan lawer a gyrchent i'r chwareudy, ac yn enwedig gan Pompedius, ar gyfrif ei harddwch mawr. Yn awr, y ddynes hon a'i barnodd yn beth tra erchyll i fod yn dyst o gyhuddiad a gyffyrddai â bywyd ei chariadwr, yn enwedig pan ydoedd ar gam. Timidius, pa fodd bynnag, a chwennychodd ei dwyn i'r arteithfa. Caius a gythruddwyd wrth y gwaradwydd a osodwyd arno; ac a orchymmynodd i Cherea arteithio Quintilia, gan ei fod yn arfer ei ddefnyddio ef ar y fath achosion; o herwydd fe dybiodd y gwnai hynny gyd â mwy o greulonder, mewn trefn i ochelyd cyfrifiad o dymmer ferchedaidd a enwasai iddo. Ond Quintilia wedi ei dwyn at yr arteithfa a sangodd ar droed un o'i chwmniwyr, ac a ddywedodd wrtho y gallai fod yn gysurus, ac na ofnai'r canlyniad o'i harteithiau; am y byddai iddi eu dioddef gyd â mawrfrydigrwydd. Cherea a arteithiodd y fenyw hon mewn modd creulon; ond gyd ag anewyllysgarwch yn wir, heb allu ei beidio. Wedi hynny efe a'i dygodd allan o flaen Caius, heb ei therfysgu gan yr hyn a ddioddefasai, a hynny yn y fath gyflwr ag oedd yn athrist i edrych arno. A Chaius wedi ei gyffroi mewn rhyw fesur wrth weled Quintilia, yr hon yr oedd ei chorph mewn anhwyldeb truenus o herwydd y poenau yr aethai tanynt, a'i rhyddhaodd hi a Pompedius oddiwrth y bai a osodasid yn eu herbyn. Rhoddodd iddi hefyd arian i wellhau arni mewn modd anrhydeddus, a'i chysuro am ei chlwyfau corphorol, y rhai a gawsai trwy'r boenfa; a'i hamynedd digyffelyb tan y fath arteithiau llymion.

Y matter hwn a ofidiodd Cherea yn fawr, megis ei fod yn achos, neu yn offeryn i ddwyn y trueni hwn ar ddynion, ag oedd yn ymddangos i beri cysur i Caius ei hun. Ar ba gyfrif y dywedodd wrth Clement, cad-flaenor y fyddin, ac wrth Papinius, noddwr y cyffredin, "Yn sicr, O Clement, ni fethasom trwy un ffordd warchod yr ymerawdwr. Canys am y rhai a gydfwriadasant yn erbyn y llywodraeth, rhai o honynt a ddifethwyd trwy ein poen a'n gofal ni; a rhai gennym a arteithiwyd, a hynny i'r fath radd, ag y darfu iddo ei hun dosturio wrthynt. Pa mor fawr gan hynny yw ein rhinwedd yn ymostwng i dywys ei fyddinoedd! Clement a dawodd; ond a arwyddodd y cywilydd yr oedd tano wrth ufuddhau i orchymmynion Caius, trwy ddull ei wynebpryd, tra meddyliodd nad oedd yn iawn mewn un modd i achwyn yn erbyn yr ymerawdwr mewn geiriau eglur, rhag i'w diogelwch eu hunain gael ei beryglu wrth hynny. Ar hyn Cherea a ymgefnogodd, ac a lefarodd wrtho yn ddiofn am y peryglon oedd o'i flaen; ac a ymddiddanodd yn helaeth am y blinderau yr oedd y ddinas a'r llywodraeth yn llafurio tanynt: ac a ddywedodd, "Gallwn yn wir gymmeryd arnom mewn geiriau mai Caius yw yr hwn y gellir cyfrif iddo'r achosion o'r fath drueni: ond yn ohyb y rhai ag sy'n allluog i farnu yn uniawn, myfi, O Clement, a'r Papinius hwn; ac o'n blaen ni, tydi dy hun, ydym y rhai a ddug y blinderau hyn ar y Rhufeiniaid, ac ar holl ddynolryw. Ni wneir hyn trwy ein bod yn ymostwng i orchymmynion Caius, ond trwy ein cydsyniad ein hunain. Canys pan y mae yn ein gallu ddodi terfyn ar fywyd y dyn hwn, yr hwn mor ddychrynllyd a ddrygodd y dinasyddion a'i ddeiliaid oll, nyni ydym ei wyliedyddion mewn drygioni, a'i ddihenyddwyr yn lle ei filwyr, ac yn offerynnau ei greulondeb. Yr ydym yn dwyn gennym yr arfau hyn, nid er ein rhyddid, neu tros y llywodraeth Rufeinaidd, ond yn unig er ei ddiogelwch ef, yr hwn a gaethiwodd eu cyrph a'u meddyliau: ac yr ydym beunydd yn halogi ein hunain â'r gwaed a dywalltwyd, ac â'r arteithiau a osodwn ar eraill. Ac nid yw efe yn ein defnyddio y ffordd hon oblegid ei dŷb dda am danom, ond yn hytrach ar gyfrif ei ddrwg-dybiau o honom: megis hefyd, pan fyddo amledd o rai ychwaneg wedi eu lladd, (canys ni esyd Caius ddim terfyn i'w hdrygrwydd; gan ei fod yn cyfeirio at wneud y cwbl, nid o ofal am gyfiawnder, ond i'w foddhau ei hun;) ninnau hefyd a fyddwn agored i'w greulondeb ef: lle y dylem fod yn foddion

i sicrhau diogelwch a rhyddid pawb; ac ar yr un pryd ymroddi i ryddhau ein hunain oddiwrth bob peryglon."

Ar hyn Clement yn gyhoeddus a ganmolodd fwriadau Cherea; ond a barodd iddo fod yn ddistaw: oblegid os ai ei ymadroddion allan ym mhlith llawer, a thaenu o'r fath bethau o amgylch ag ydoedd yn addas i'w cadw yn guddiedig, byddai i'r fradwriaeth gael ei datguddio cyn ei chyflawni, a hwythau a ddygid i gospedigaeth: ond dylent hwy adael y cwbl i'r amser a ddeuai; a'r gobaith a darddai oddiwrth hynny, y digwyddai ryw ddamwain fanteisiol yn gynnorthwy iddynt. Mai am dano ei hun, nad oedd ei oedran yn caniattau iddo wneuthur un cynnygiad yn yr achos hwnnw. "Pa fodd bynnag," eb efe, "er, ysgatfydd, y gallwn ddarlunio'r hyn a fyddai er mwy o ddiogelwch, na'r hyn a ddarfu i ti, Cherea, feddwl am dano, a'i ddywedyd; etto pa fodd y mae'n bossibl i neb ddarlunio'r hyn a fyddo er mwy parchedigaeth i ti?" Felly Clement a aeth adref, gan ddwys-fyfyrio ar yr hyn a glybu, a'r hyn a ddywedasai ei hun. Cherea hefyd ydoedd tan flinder meddwl, ac a aeth yn ebrwydd at Cornelius Sabinus, yr hwn oedd ei hun yn un o'r tribuniaid neu nawddwyr, a'r hwn a wyddai mewn modd arall ei fod yn ddyn parchus, ac yn caru rhyddid; ac o herwydd hynny ei fod mewn anesmwythder ar gyfrif trefn bresennol yr achos cyffredin; gan fod Cherea yn ewyllysio dyfod yn ddioed at gyflawniad yr hyn a amcanasai; a meddwl ei fod yn iawn iddo ei amlygu i'r llall; a chan ofni rhag i Clement wneud datguddiad o honynt; a golygu, heblaw hyn, hir oediad yn nesaf peth i roddi'r anturiaeth i fynu.

Ond fel yr oedd y cyfan wrth fodd Sabinus, yr hwn oedd â'r un amcan ganddo a Cherea, ond a fuasai yn ddistaw o ddiffyg gwybod am ryw un ag a allai yn ddiberygl amlygu ei feddyliau iddo: felly yn awr wedi cyfarfod ag un, yr hwn nid yn unig a addawodd gadw yn guddiedig yr hyn a glywodd, ond yr hwn eisoes a agorasai ei feddwl iddo, yr ydoedd wedi ei gefnogi yn fwy, ac a ddymunodd ar Cherea, na fyddai i ddim oed gael ei wneuthur. Yn ganlynol hwy a aethant at Minucianus, yr hwn oedd ŵr mor rhinweddol, ac mor awyddus i wneuthur gweithredoedd canmoladwy a hwy eu hunain; ac a ddrwg-dybid gan Caius, o achos lladd Lapidus. Canys Minucianus a Lapidus oeddynt gyfeillion caruaidd, a phob un yn ofnus o'r peryglon yr oeddynt tanynt. Caius yn wir ydoedd yn ddychryn i'r holl wŷr mawrion; megis ag ymddangosiad parod ynddo i weithredu rhan dyn gorphwyllog tu ag at bob un o honynt hwy yn enwedigol, a thu ag at bawb o honynt yn gyffredinol. A'r gwŷr hyn oeddynt yn ofnus y naill o'r llall, tra fyddent etto yn anesmwyth wrth agwedd yr achos cyffredin: er hynny hwy a ymgadwent rhag datgan eu meddyliau y naill i'r llall, a'u casineb yn erbyn Caius, oddiar ofn y perygl a fyddent ynddo trwy hynny. Er y canfyddent trwy foddion eraill eu cydradd gasineb tu ag at y gormeswr; ac ar y cyfrif hwnnw nid oeddynt yn wrthwynebol i ymddygiad caredig y naill tu ag at y llall.

Wedi i Minucianus a Cherea gyfarfod, a chyfarch y naill y llall; (fel y byddent arferol wrth gydymddiddan o'r blaen i roddi'r llaw uchaf i Minucianus, yn gystal ar gyfrif ei uchafiaeth godidog, canys efe oedd fwyaf ardderchog o'r holl ddinasyddion, ac yn un cymmeradwy gan bob dynion, yn enwedig pan areithiai wrthynt;) Minucianus a ddechreuodd gyntaf, ac a ofynnodd i Cherea, pa beth oedd y gair-gwylio a dderbyniasai y dydd hwnnw oddiwrth Caius? canys yr ammharch a gynnygid i Cherea gyd â thraddodiad y gwyl-air, ydoedd hynod trwy'r holl ddinas. Ond ni wnaeth Cherea ddim oed, cyhyd ag i atteb y gofyniad hwnnw, oddiar y llawenydd oedd ganddo, yr hyderai Minucianus gymmaint arno ag i ymddiddan ag ef. "Ond bydded i ti, "eb efe, roddi i ni wyl-air rhyddid. Ac yr wyf yn dychwelyd i ti ddiolch am i ti fy nghefnogi mor fawr i ymegnio fy hun yn y fath fodd anarferol: ac nid wyf yn sefyll mewn angen o lawer o eiriau i'm hannog, gan dy fod ti a minnen o'r un feddwl, ac yn gyfrannogion o'r un amcan, a hynny cyn i ni gydymddiddan â'n gilydd. Nid oes yn wir ond un cleddyf wedi ei ymwregysu gennym, ond hwn a wasanaetha i ni bob un. Tyred ym mlaen, gan hynny, ac ymosodwn ynghylch y gwaith. Dos di yn gyntaf, os ewyllysi, a phar i mi dy ddilyn: neu os amgen myfi af yn gyntaf, a thitheu a'm cynnorthwyi i; a nyni a gydymdrechwn ac a hyderwn ar ein gilydd. Ac nid oes angenrheidrwydd, ïe

am un cleddyf, i'r rhai a f'o â'n meddyliau wedi eu gosod ar y fath waith, trwy'r hyn yr arfera cleddyf fod yn llwyddiannus. Yr wyf fi yn awyddus i gael cyflawni'r weithred hon, ac nid wyf yn pryderu ynghylch yr hyn a ddioddefwyf; canys nid oes hamdden gennyf i ystyried y peryglon a all ddyfod arnaf fy hun; mor ddwfn yw fy ngofid o herwydd caethiwed fy ngwlad oedd unwaith a rhyddid ynddi, ac ar gyfrif y dirmyg a osodir ar ein cyfreithiau, a'r dinystr sydd yn crogi uwch ben pawb o herwydd Caius. Dymunwn gael dy farn di yn hyn, ac i ti fy nghyfrif yn deilwng o dy hyder ar yr achos yma, gan ein bod o'r un feddyliau â'n gilydd, ac nad ydym mewn un modd yn gwahaniaethu."

Pan ganfu Minucianus y gwresogrwydd â'r hwn yr oedd Cherea yn adrodd ei amcanion, efe a'i hannogodd yn ei anturiaeth ëou, gan ei ganmol a'i gofleidio: felly gadawodd iddo fyned ymaith gyd âg ewyllysio yn dda iddo. A rhai a sicrhant ddarfod iddo wrth ei ymadrodd gadarnhau Minucianus yn yr hyn a gyttunasid rhyngddynt. Canys fel ag yr oedd Cherea yn myned i mewn i gyntedd y palas; sôn a ddaeth o amgylch ddyfod gair o blith y lliaws yn ei annog ef; yr hwn a barodd iddo orphen yr hyn yr oedd yn ei amcanu; a chymmeryd o hono y cyfleusdra yr oedd rhagluniaeth yn ei gynnyg iddo: a dychymmygu o Cherea ar y cyntaf fod un o'r cydfwriadwyr wedi ei fradychu, a darfod ei ddala ef; ond o'r diwedd fe ddeallodd mai mewn ffordd o annogaeth yr ydoedd. Pa un ai bod * rhyw un ag a wyddai am y peth yr oedd yn ei gylch, yn rhoi arwydd iddo i gefnogi yn y weithred: neu a ydoedd Duw ei hun, yr hwn sydd yn craffu ar weithredoedd dynion, yn ei annog i fyned yn hyf a'i amcan i ben, sydd yn ansicr. Y bradwriaeth yn awr oedd wedi eu wneud yn hyspys i lawer; y rhai oeddynt oll tan eu harfau: a rhai o'r cydfwriadwyr oeddynt aelodau o'r senedd, ac eraill, o'r radd farchogol: amryw hefyd o'r milwyr oedd yn adnabyddus o hono. Canys nid oedd un o honynt a'r na chyfrifai yn rhan o'i ddedwyddwch i ladd Caius: ac o herwydd hynny yr oeddynt oll yn dra awyddus ar yr achos, trwy ba foddion bynnag y gallent ddyfod i ben â'r gorchwyl; gan addaw na fyddai iddynt fod yn ol-llaw i'w gynnorthwyo ym mlaen; ond i fod yn barod gyd â'r grymmusder mwyaf i gwblhau dinystriad y gorthrymwr. Ac heblaw y rhai hyn, Callistus hefyd, yr hwn rydd-wr Caius, ac ydoedd yr unig un a gyrraeddasai i'r radd uchaf o awdurdod tano ef; y fath awdurdod yn wir ag ydoedd mewn rhyw fodd yn gydradd âg awdurdod y gorthrymydd ei hun; ar gyfrif yr arswyd o hono oedd ar bawb, ac o herwydd y cyfoeth mawr oedd ganddo, canys efe a gymmerai wobrwyon yn dra helaeth, ac a niweidiodd eraill heb ddim terfynau; gan fod yn fwy anghymmedrol yn defnyddio ei awdurdod na neb arall. Efe hefyd a wyddai dymmer Caius ei bod yn anymbilgar; ac na ellid fyth ei ogwyddo oddiwrth yr hyn a sefydlai ei feddwl arno. Yr ydoedd ganddo amryw resymmau eraill i ammeu ei fod ei hun mewn perygl: ac nid oedd ei gyfoethogrwydd anghyffelyb yn un o'r achlysuron lleiaf. Ar ba gyfrif efe a ymdrechodd yn ddirgel i ennill ei hun i ffafr Claudius, ac a symmudodd ei olwg atto ef; tan obaith os cymmerid Caius ymaith, ac y deuai'r llywodraeth i feddiant Claudius, y byddai i'w gymmeradwyad gyd ag ef osod sail i gynnal i fynu ei fawredd tano, gan iddo osod i mewn ym mlaen llaw ystôr o haeddedigaethau, a chyflawni amryw swyddau lleshaol i Claudius tu ag at ei ddyrchafiad. Yr oedd ganddo hefyd yr hyfdra i gymmeryd arno ddarfod iddo gael ei berswadio i wneud am fywyd Claudius trwy ei wenwyno ef: ond iddo o hyd ddyfeisio deng mil o esgusion gogyfer a'i oedi. Ond fe ymddengys yn debyg gennyi fi na ddarfu i Callistus ond yn unig ffugio hyn, mewn trefn i'w gymmeradwyo ei hun gyd â Claudius. Canys pe buasai Caius o ddifrif am gymmeryd ymaith Claudius, ni roisai le i esgusodion Callistus. Ac ni fuasai Callistus, pe gorchymmynasid iddo'r fath weithred gan Caius, yn ei dodi heibio; na thrwy anufuddhau yn gallu diangc rhag cospedigaeth ddiffed gan ei arglwydd. Tra'r oedd Claudius wedi ei gadw rhag cynddeiriogrwydd Caius trwy neillduol ragluniaeth Duw; Callistus a fynnai gyfrif iddo ei hun y fath ddarn o deilyngdod nad oedd mewn modd yn y byd yn deilwng o hono.

* Y fath lais a hwn yn gymmwys, fel yr adroddir am dano, a ddaeth, a hynny oddiwrth ryw achos anadnabyddus, at yr enwog Polycarp, fel ag yr oedd yn myned i'w ferthyru, yn peri iddo ymwroli: megis ag y mae eglwys Smyrna yn sicrhau i ni, yn eu hanes o'i ferthyrdod ef.

Pa fodd bynnag, y cyflawniad o amcanion Cherea a ddodwyd heibio o ddydd i ddydd, trwy hwyrfrydigrwydd amryw a gyttunasent i'r weithred. Canys am Cherea ei hun, nid oedd yn ewyllysio gwneuthur dim oediad; ond yn meddwl fod pob amser yn gymmwys i'w gyflawni: canys mynych gyfleusdra oedd yn ymgynnyg ei hun. Megis pan elai Caius i fynu i'r cabidyldy i aberthu tros ei ferch: neu pan safai ar nen y palas brenhinol; ac y taflai i lawr ddarnau o aur ac arian ym mysg y lliaws, pryd y gallesid ei wthio i lawr bendramwnwgl dros y mur: o herwydd brig y palas, yn yr ochr a edrychai tu â'r farchnadfa, oedd yn dra uchel. Ac hefyd pan gynnaliai ŵyl y dirgeledigaethau, a drefnodd y pryd hynny; canys yna ni byddai mewn un modd wedi ei gau o blith y bobl; ond yn gofalu i wneud pob peth yn brydferth ac wrth eu bodd hwynt; heb ddim drwg-dybiau am ymosodiad arno oddiwrth neb ar y cyfryw amser. Ac er na fyddai i'r duwiau fenthycca eu cynnorthwy i Cherea i gymmeryd ymaith ei fywyd, etto'r oedd ganddo nerth digonol ei hun i orphen Caius, er pe byddai heb un cleddyf. Fel hyn yr oedd Cherea yn ddig wrth ei gydfwriadwyr, rhag ofn iddynt adael i'r cyfleusdra fyned heibio. Ac yr oeddynt eu hunain yn ystyried fod achos cyfiawn iddo i ddigio wrthynt, a bod ei awydd ef er eu mantais. Etto hwy a ddymunasant ar iddo arfer peth hwy amynedd; rhag, trwy ryw siommedigaeth a allai gyfarfod â hwynt, beri annhrefn yn y ddinas, a chwilio allan y cydfwriadwyr, a dwyn aflwyddiant ar gefnogrwydd y rhai a fynnent ymosod ar Caius; pan fyddai iddo ddiogelu ei hun yn fwy gofalus nag erioed i'w herbyn. Mai goreu ydoedd gan hynny ymosod ynghylch y gwaith yn amser y dangosiadau yn y palas. Y dangosiadau hyn a arferid er anrhydedd y Cæsar hwnnw, yr hwn gyntaf a newidiodd y llywodraeth boblogaidd, ac a'i cymmerodd iddo ei hun. Wedi i 'stefyll edrychol gael eu gosod i fynu o flaen y palas, ac i wŷr o Rufeiniaid ddyfod yn edrychwyr, ynghyd â'u plant, a'u gwragedd, a Cæsar ei hun i fod yn edrychwr hefyd: hwy a gyfrifasant, ym mysg yr amryw filoedd a fyddent wedi ymwasgu yno i ychydig o gwmpas, y gosodid iddynt gyfleusdra i wneud cynnygiad arno yn ei ddyfodiad i mewn; o herwydd na byddâi i'w warchawdlu, os mynnent wneuthur hynny, fod yn alluog yn y lle hwnnw i'w amddiffyn.

Cherea a gydsyniodd i wneuthur yr oediad hwn. A phan ddaeth o amgylch amser y dangosiadau, penderfynwyd i wneuthur y gwaith y dydd cyntaf. Ond damwain, yr hon a ganiattaodd hwy oediad i'w laddedigaeth, ydoedd ry drech i'w hymröad rhagflaenol. A phan oedd tri diwrnod o amser rheolaidd y dangosiadau hyn yn awr wedi myned trosodd, bu ganddynt ymdrech mawr i allu cyflawni y weithred y dydd olaf. Yna Cherea a alwodd y cydfwriadwyr ynghyd, ac a lefarodd wrthynt y modd hwn: "Cymmaint o amser wedi ei adael i fyned heibio sydd waradwyddus i ni, megis yn oedi myned trwy'r fath orchwyl o rinwedd ag yr ydym ni wedi ymrwymo ynddo; ond mwy truenus y prawf yr oediad hwn os datguddir ni, ac i'r amcan gael ei rwystro. Canys yna Caius a fydd fwy creulon yn ei ymarferiadau anghyfiawn. Oni welwn pa gyhyd o amser yr ydym yn ymddifadu ein holl gyfeillion o'u rhyddid, ac yn caniattau fyth i Caius ormesu arnynt? pan y mae'n ddyledus arnom ddwyn diogelwch iddynt tros yr amser i ddyfod: a thrwy osod sail i ddedwyddwch rhai eraill, ynnill i ni ein hunain glod ac anrhydedd ym mhob oes a chenhedlaeth." Yn awr, pan nad oedd gan y cydfwriadwyr ddim neillduol i'w ddywedyd, mewn ffordd o wrthwynebiad, ac etto heb archwaethu yn dda yr hyn yr oeddynt yn ei wneuthur; ond a arosasant yn ddistaw ac yn synllyd; dywedodd yntau ymhellach, "O fy nghymdeithion dewrwych, paham yr ydym yn gwneud y fath oediad? Onid ydych yn gwybod mai hwn yw dydd olaf y dangosiadau hyn, a bod Caius ynghylch myned i'r môr? canys y mae yn parottoi i fordwyo i Alexandria, mewn trefn i weled yr Aipht. A ydyw gan hynny yn glod i chwi i adael dyn i fyned allan o'ch dwylaw, yr hwn sydd yn waradwydd i ddynolryw, a chaniattau iddo fyned ym mlaen yn ei rwysg, gan ddatgan ei oruchafiaeth ar dir a môr. Oni chywilyddiwn yn gyfiawn o honom ein hunain, os gadawn i ryw Aiphtwr neu gilydd, a farno ei gam yn annioddefol i ddynion rhyddion, ei ladd? Am danaf fy hun, ni oddefaf yn hwy eich annibendod yn myned ym mlaen, ond a

osodaf fy hun yn agored i beryglon yr anturiaeth y dydd hwn; ac a oddefaf yn llawen pa ryw ganlyniadau bynnag a ddigwydd ymherthynas iddo: neu pa ryw gymmaint bynnag a fyddont, ni adawaf y peth o'r neilldu yn hwy. Canys i ddyn doeth a dewrwych pa beth a all fod yn fwy gofidus, na, tra'r ydwyf yn fyw, fod i ryw un arall ladd Caius, a'm difuddio i o anrhydedd y fath rinweddol weithred?"

Wedi i Cherea lefaru y modd hwn, efe a ymosododd yn wresog ynghylch y gwaith, ac a genhedlodd gefnogrwydd yn y lleill i'w ddwyn ym mlaen: ac yr oeddynt oll yn awyddus i gwympo atto heb ddim ychwaneg o oed. Felly yr ydoedd efe wrth y palas yn y boreu, wedi ymwregysu â'i gleddyf marchogawl. Canys y ddefod ydoedd i'r swyddogion ofyn gŵyl-air â'u cleddyfau wrth eu hochr. A hwn oedd y diwrnod ar ba un yr oedd Cherea, yn ol defod, i dderbyn y gŵyl-air. A'r lliaws oeddynt eisoes wedi dyfod i'r palas, i gael bod yn gynnar ddigon i edrych y dangosiadau, a hynny yn dyrfaoedd mawr, nes oedd y naill yn derfysglyd yn sathru y llall; tra'r oedd Caius yn ymbleseru wrth weled awyddfryd y lliaws. Am ba reswm ni chraffwyd ar drefn ym mysg yr eisteddwyr; ac nid oedd eisteddfâu pennodol yn cael eu happwyntio i'r seneddwyr, neu y rhai o'r radd farchogawl: ond hwy a eisteddent blith draphlith, gwŷr a gwragedd ynghyd, a'r gwŷr rhydd a gymmysgid â'r caeth-weision. Felly Caius a ddaeth allan mewn modd difrifol, ac a offrymmodd aberth i Augustus Cæsar, er anrhydedd pa un y cedwid yr ŵyl hon. Yn awr fe ddigwyddodd ar gwymp rhyw offeiriad, ddarfod gorchuddio gwisg Asprenas, seneddwr, â gwaed, yr hyn a barodd i Caius chwerthin. Er mai arwydd amlwg oedd hyn i Asprenas: canys efe a laddwyd ar yr un amser a Caius. Adroddir hefyd fod Caius y dydd hwnnw, yn groes i'w arfer gyffredin, o'r fath dymmer dda, a mwynaidd yn ei ymddiddanion, fel y rhyfeddodd pawb tu ag atto ag oedd yn bresennol. Wedi i'r aberthiad fyned trosodd, Caius a eisteddodd i lawr i edrych y dangosiadau; megis hefyd y darfu y rhai pennaf o'i gyfeillion eistedd yn agos atto. Yn awr amrywiol rannau y chwareudy oeddynt wedi eu gweithio felly ynglŷn â'u gilydd, megis yr arferent fod bob blwyddyn, yn y dull canlynol. Yr oedd iddo ddau ddrws; un oedd yn arwain allan i'r awyr glir, a'r llall oedd yn fynedfa i mewn, neu fynediad allan o'r stefyll-dai, fel na aflonyddid y rhai o'r tu fewn i'r chwareudy. Ond allan o un rodfa (gallery) yr oedd mynedfa dufewnol, ac yn arwain i rodfa arall, i roddi lle i'r ymdrechwyr a'r cerddorion, fel y byddai'r achos yn gofyn. Wedi eistedd o'r lliaws i lawr, a Cherea, gyd â'r tribuniaid eraill yn eistedd hefyd; a chongl ddehau y chwareudy wedi ei drefnu i Cæsar; un Vatinius, seneddwr, blaenor llu y Pretoriaid, a ofynnodd i Cluvius, yr hwn a eisteddai yn ei ymyl, ac ydoedd o'r radd bendefigol, a glywsai ef am unrhyw newyddion hynod, neu heidio? eithr efe a gymmerodd ofal na chlywai eraill yr hyn a ddywedai. Ac wedi i Cluvius atteb na chlybu efe am ddim newyddion; "Gwybydd gan hynny," eb Vatinius, "fod y gamp o ladd-iad gorthrymwyr i gael ei chwareu y dydd hwn." Ond Cluvius a attebodd, "O gydymmaeth gwrolwych taw, a gostega; rhag i ryw rai eraill o'r Achaiaid wrando dy chwedl." Ac fel yr oedd amldra o ffrwythau'r hydref yn cael eu taflu i blith yr edrychwyr, a nifer mawr o adar, y rhai oeddynt o werth gan eu perchennogion, ar gyfrif eu hanamldra; Caius ydoedd ddifyr ganddo weled yr adar hyn yn ymladd am y ffrwythau; a'r trais a arferodd yr edrychwyr i gael gafael ynddynt. Ac yma y canfu ddau beth aruthr a ddigwyddodd yno. Canys chwareydd a ddygwyd i mewn, gan yr hwn y croeshoeliasid blaenor yspeilwyr; a'r digrif-was a ddygodd i mewn chwareydd a elwid Cinyras: ym mha un yr ydoedd efe ei hun i gael ei ladd, yn gystal a'i ferch Myrrha; ac ym mha le yr oedd llawer o waed ffugiol yn cael ei dywallt, sef o amgylch yr hwn a groeshoeliasid, ac hefyd ynghylch Cinyras. Cyfaddefir hefyd mai yn yr un dydd y darfu i Pausanias, cyfaill Philip, mab Amyntas, yr hwn oedd frenin Macedonia, ei ladd ef, fel ag yr oedd yn myned i'r chwareudy. Ac yn awr Caius oedd mewn amheuaeth pa un a arhosai hyd ddiwedd y golygiadau hyn, o herwydd mai'r dydd olaf ydoedd. Neu pa un a elai yn gyntaf i'r ymolchfa, ac i giniaw; ac yna dychwelyd i eistedd i lawr megis o'r blaen. Ar hyn Minucianus, yr hwn a eisteddai gyferbyn â

Caius, ac oedd yn ofni rhag methu o honynt y cyfleustra, a gododd i fynu, am ei fod yn gweled Cherea eisoes wedi myned allan; ac yntau a brysurodd ar ei ol ef, i'w gadarnhau yn ei amcanion. Ond Caius a ymaflodd yn ei wisg mewn modd cyfeillgar, ac a ddywedodd wrtho, "Oddyn gwrolwych,i ba le yr wyt yn myned?" Ar hyn, o barch i Cæsar, fel yr ymddangosai, efe a eisteddodd i lawr drachefn. Ond ei ofn a'i gorfyddodd ef; ac o fewn ychydig amser cyfododd i fynu drachefn; ac yna ni wrthwynebwyd mo'no mewn un modd rhag myned allan gan Caius. Ac Asprenas, yr hwn oedd un o'r cydfwriadwyr, a berswadiodd Caius i fyned allan i'r ymolchfa, ac i giniaw, ac yna i ddyfod i mewn drachefn: megis yn ewyllysio i'r hyn a benderfynwyd yn ei gylch ddyfod i ben yn ddioed.

Felly cydgymdeithion Cherea a osodasant eu hunain mewn trefn, megis y rhoddai amser iddynt: a gorfu iddynt ymdrechu yn egnïol, fel na byddai i'r lle a appwyntiasid gael ei adael ganddynt. Ond yr oeddynt yn ddig o herwydd meithder yr oediad, a bod i'r hyn yr oeddynt yn ei gylch gael ei ddodi heibio ddim yn hwy; canys yr ydoedd eisioes ynghylch y nawfed awr o'r dydd: a Cherea, wrth fod Caius yn aros cyhyd, a feddyliodd yn gryf fyned i mewn, a rhuthro arno yn ei eisteddfa; er yr un pryd ei fod yn rhagweled, na ellid gwneuthur hyn heb dywallt llawer o waed; sef ym mysg y seneddwyr, a'r rhai o'r radd farchogawl a ydoedd yn bresennol. Ac er y gwyddai fod yn rhaid i hyn ddigwydd, etto 'r oedd ganddo feddwl cryf am wneud felly, megis yn cyfrif yn iawn i geisio ynnill diogelwch a rhyddid i bawb ar gost y cyfryw rai ag a ddifethid yn yr antur hon. Ac fel yr oeddynt ar gychwyn yn ol at y ddyfodfa i'r chwareudy, dygwyd attynt air fod Caius wedi cyfodi; trwy 'r hyn y gwnaethpwyd cythrwfl. Ar hynny y cydfwriadwyr a wthiasant ymaith y dorf, tan rith fod Caius yn ddig wrthynt; ond mewn gwirionedd ewyllysio'r oeddynt gael lle rhydd, heb neb ynddo i'w amddiffyn, pan fyddent ynghylch lladd Caius. Yn awr Claudius ei ewythr a aethai allan o'r blaen; a Marcus Vinicius gwr ei chwaer; megis hefyd Valerius o Asia: y rhai er meddwl o honynt eu dodi allan o'u ffordd; etto y parch oedd ganddynt i'w huchelradd a'u lluddiodd i wneuthur hynny. Yna y canlynodd Caius, gyd â Paulus Aruntius. A chan fod Caius yn awr wedi myned y tu mewn i'r palas, efe a adawodd y ffordd uniawngyrch, ar hyd pa un y safai ei weision ag oedd yn ei ddisgwyl, ac i ba ffordd yr aethai Claudius ar hyd-ddi o'r blaen, Caius a drodd o'r neilldu i fynedfa gul a dirgelaidd, mewn trefn i fyned i'r lle o ymdrochi; ac hefyd i olygu y bechgyn a ddaethent o Asia; y rhai, mewn rhan a ddanfonasid yno i ganu hymnau yn y dirgelion hyn, pa rai yn awr a gynhelid; ac hefyd i ddawnsio ar y chwareu-fyrddau. Felly Cherea a'i cyfarfu ef, ac a ofynnodd iddo am y gŵyl-air. Ac ar waith Caius yn dywedyd wrtho rai o'i eiriau gwawdlyd, yntau yn ebrwydd a'i gwaradwyddodd ef, ac a dynnodd allan ei gleddyf, gan roddi iddo ddyrnod dychrynllyd ag ef. Etto nid oedd yr ergyd hwn yn farwol. Ac er bod rhai a ddywedant ddarlunio hyn yn bwrpasol gan Cherea, na leddid Caius ar un ergyd; ond bod iddo ddioddef loesion llymmach trwy amryw frathiadau neu ddyrnodiau: etto'r adroddiad yma a ymddengys yn anghredadwy. Oblegid yr ofnau y mae dynion tanynt yn y fath amgylchiad, ni chaniattânt iddynt arfer eu rheswm. Ac os oedd Cherea o'r meddwl hwnnw, yr wyf yn ei gyfrif yn bennaf o ynfydion, yn ymbleseru ei hun â malais yn erbyn Caius, yn hytrach na chael diogelwch dioed iddo ei hun, ac i'w gydfradwriaethwyr, rhag y perygl yr oeddynt ynddo. Canys fe allasai amryw beth ddigwydd etto i gynnorthwyo diangfa Caius, os na fuasai eisoes wedi rhoddi i fynu'r yspryd. Canys Cherea yn sicr a fuasai'n gofalu, nid cymmaint am boeni Caius, ag ymherthynas i'r peryglon yr oedd efe ei hun a'i gyfeillion ynddynt; pan oedd yn ei allu, ar ol y fath lwyddiant, i aros yn ddistaw, a diangc rhag llid amddiffynwyr Caius, ac nid ei adael yn ansicr pa un a fyddai iddo gyrraedd y diben yr oedd yn cyfeirio atto neu beidio; ac mewn modd afresymmol i weithredu megis pe buasai ag ewyllys ganddo i'w ddifetha ei hun, a cholli'r cyfleustra a osodasid o'i flaen. Pa fodd bynnag, Caius a ddodwyd ar ei ogwydd o herwydd y loes a gafodd oddiwrth yr ergyd hwnnw: canys a'r cleddyf yn disgyn yn y canol rhwng yr ysgwydd a'r gwddf, a attaliwyd gan asgwrn uchaf y

ddwyfron rhag myned ymhellach. Ac ni ddarfu iddo ychwaith lefain allan, o herwydd tan gymmaint syndod yr ydoedd; ac ni alwodd neb o'i gyfeillion; pa un ai oddiar ei fod heb hyder ynddynt, neu fod ei feddwl mewn modd arall wedi ei annhrefnu: ond efe a ruddfanodd tan y loes a deimlodd; ac yn fuan a aeth ymlaen ar ffô: eithr darfu i Cornelius Sabinus, yr hwn eisoes oedd barod i'w dderbyn, ei wthio i lawr ar ei liniau, pan safodd amryw o honynt o'i amgylch, ac a'u tarawsant â'u cleddyfau; gan lefain allan, ac annog eu gilydd i gyd ar unwaith i'w daro drachefn. Ond pawb a gyttunant mai Aquila a roddai yr ergyd marwol iddo, yr hwn yn union-gyrch a'i lladdodd. Ond gall un gyfrif hyn yn gyfiawn i Cherea. Canys er i lawer uno yn y weithred ei hun, etto efe oedd y lluniwr cyntaf o honi; ac a ddechreuasai ym mhell o flaen y lleill barottoi tu ag atti, ac ydoedd yr un blaenaf a lefarodd yn hŷf am dani wrth y lleill. Ac ar eu cydsynniad â'r peth a ddywedodd efe ynghylch hyn, efe oedd yr un a grynhodd y cydfwriadwr at eu gilydd; a wnaeth barodrwydd o bob peth mewn modd pwyllog; a thrwy lunio ymadrodd da i'w cynghori hwynt, a ddangosodd ei hun yn rhagori ymhell ar y lleill: yn gymmaint ag y darfu hyd yn oed eu cymmell i fyned oll ym mlaen; y rhai pe amgen nid oedd ganddynt gefnogrwydd digonol i hynny: ac wedi i'r cyfleustra ddyfod i arferyd ei gleddyf, efe a ymddangosodd yn flaenaf i wneuthur hynny, ac a roddodd yr ergyd cyntaf yn y lladdfa rinweddol hon: efe hefyd a ddygodd Caius yn esmwyth tan awdurdod y lleill, ac a fu agos i'w ladd ef ei hun. Yn gymmaint nad yw ond cyfiawn i gyfrif yr hyn oll a wnaeth y lleill i gyngor, gwrolder, a llafur dwylaw Cherea.

Fel hyn y daeth Caius i'w ddiwedd, ac y gorweddodd yn farw, wedi 'r aml ddyrnodiau a'r clwyfau a gafodd. Yn awr Cherea a'i gyd-weithredwyr, wedi lladd Cains, a'i gwelsant yn ammhossibl iddynt achub eu hunain, os elent oll yr un ffordd: mewn rhan o herwydd y syndod yr oeddynt tano; canys nid ychydig o berygl a dynnasent arnynt eu hunain wrth ladd ymerawdwr, yr hwn a berchid ac a anrhydeddid gan wallgof y bobl: yn enwedig pan fyddai i'r milwyr wneud manwl ymofyniad am ei lofruddion. Y tramwyfeydd hefyd oedd gulion lle y gwnaed y weithred, y rhai a lenwid â nifer mawr o warcheidwaid Caius, ac â'r cyfryw o'r milwyr ag oedd yn warchawdlu i'r ymerawdwr y dydd hwnnw. Oddiwrth hyn yr oedd ddarfod iddynt fyned trwy ffyrdd eraill, a dyfod i dŷ Germanicus, tad Caius, yr hwn yn awr a laddasent; pa dŷ ydoedd gyssylltedig â'r palas: canys tra'r oedd yr adeilad yn un, codasid yr amrywiol rannau o honi gan wahanol ymerawdwyr; a'r rhannau hynny a ddygent arnynt enwau y rhai a'u cyfodasent, neu enwau y sawl a ddechreuasai eu cyfodi. Felly hwy a ddiangasant rhag ammharch y lliaws, ac a oeddynt yn bresennol yn ddiberygl; hynny yw, cyhyd ag y byddai'r anhap a oddiweddasai'r ymerawdwr yn anadnabyddus. Yr Ellmyniaid ydoedd y rhai cyntaf a gafodd allan fod yr ymerawdwr wedi ei ladd. Yr Ellmyniaid hyn oeddynt warchawdlu Caius; y rhai a ddygent arnynt enw 'r wlad o'r hon y dewisid hwynt, ac a wnaent i fynu y lleng Celtiaidd. Dynion y wlad honno ydynt wrth natur yn waedwyllt; yr hon yn gyffredin yw tymmer rhai eraill o'r cenedlaethau barbaraidd, megis heb fod yn ystyried llawer ynghylch yr hyn a fo'nt yn ei wneuthur. Y maent o gyrph nerthol, ac a syrthiant ar wathaf eu gelynion mor gynted ag y goddiweddir hwy ganddynt: a pha ffordd bynnag yr elont hwy a wnant orchestion mawr. Pan ddarfu, gan hynny, i'r gwarchawdlu Ellmynaidd hyn ddeall fod Caius wedi ei ladd, yr oeddynt yn athrist o'i herwydd; am na wnaent ddefnydd o'u rheswm i farnu ynghylch achosion y wlad; ond a fesurent y cwbl yn ol y manteision yr oeddynt hwy yn ei dderbyn. Caius a gerid ganddynt ar gyfrif yr arian a gyfrannai iddynt; trwy 'r hyn y pwrcasodd eu hewyllys da tu ag atto. Felly hwy a dynnasant allan eu cleddyfau, a Sabinus a'u harweiniodd ym mlaen. Yr oedd efe yn un o'r tribuniaid; nid trwy'r moddion o weithredoedd rhinweddol ei hynafiaid, canys cleddyfwr a fuasai; ond a gafodd sefyllfa yn y fyddin, o herwydd ei gadernid corphorol. Felly yr Ellmyniaid hyn a aethant o amgylch mewn ymofyniad am lofruddwyr Cæsar, ac a dorrasant i lawr Asprenas yn ddrylliau, o herwydd mai efe oedd y dyn cyntaf a oddiweddasant; gwisgoedd pa un a lychinwyd â gwaed yr aberthau, fel y dywedais o'r blaen, yr hyn a arwyddodd na fyddai ei gyfarfyddiad â'r milwyr er daioni iddo. Yna y

cyfarfu Norbanus â hwynt, yr hwn oedd o'r rhai ardderchoccaf yn y ddinas; ac a allasai ddangos amryw flaenoriaid byddinoedd ym mhlith ei hynafiaid. Ond ni roesant ddim parch i'w uchelradd. Etto'r ydoedd efe o'r fath rymmusder, fel y dygodd gleddyf y cyntaf a ymosododd arno allan o'i ddwylaw; ac a ymddangosodd yn anewyllysgar i farw, heb wneud ymdrech am ei fywyd: nes ei amgylchynu gan nifer mawr o ymosodwyr, ac a fu farw trwy amlder yr archollion a gawsai ganddynt. Y trydydd ydoedd Anteius, seneddwr, ac ychydig o rai eraill gyd ag ef. Ni chyfarfu ef â'r Ellmyniaid hyn o ddamwain, megis y darfu i'r lleill o'r blaen; ond a ddaethai i ddangos ei gasineb at Caius: ac am iddo ewyllysio gweled Caius yn gorwedd yn farw, a chymmeryd hyfrydwch yn yr olwg honno. Oblegid Caius a alltudiasai dad Anteius, yr hwn oedd o'r un enw ag ef ei hun: ac heb foddloni ar hynny, danfonasai allan ei filwyr i'w ladd ef. Felly fe ddaethai yn awr i orfoleddu yn ei farwolaeth ef. Ond fel yr oedd yr holl dŷ yn awr mewn cythrwfl, ac efe yn amcanu ei guddio ei hun, ni allodd ddiangc rhag y manwl chwiliad a wnaeth yr Ellmyniaid; tra'r oeddynt yn farbaraidd yn lladd y rhai oedd euog, a'r rhai dieuog yn gydradd. A'r modd yma y lladdwyd y tri o ddynion hyn.

Ond wedi i'r sŵn am farwolaeth Caius gyrraedd y chwaredy, yr oeddynt yn synn o'i herwydd, ac heb allu ei gredu. Ië, rhai ag a dderbynient y newydd am ei ddinystr gyd â mawr ddiddanwch, ac oeddynt yn ei ewyllysio agos yn fwy nac un peth dymunol arall a allai ddyfod attynt, oeddynt tan y fath amheuaeth a phettrusder, fel na's gallent ei gredu. Yr ydoedd eraill hefyd ag oedd yn ei fawr anghredu, o herwydd eu bod yn anewyllysio i unrhyw fath beth ddigwydd i Caius; ac ni fynnent ei gredu er ei fod fyth mor wirioneddol ag y byddo; o herwydd meddwl o honynt nad oedd bossibl i un dyn fod a chymmaint o wrolder ynddo ag i ladd Cæsar. Y rhai hyn ydoedd y gwragedd, y plant, y caeth-weision, a rhai o'r milwriaid. Y rhai diweddaf hyn a dderbyniasent eu tâl, ac oeddynt mewn ystyr yn cydormesu ag ef; ac a a ammharchasent oreuon y dinasyddion mewn ufudd-dod i'w orchymmyn anghyfiawn, mewn trefn i ynnill clod a dyrchafiad iddynt eu hunain. Ond y merched a'r ieuengctyd a dwyllid â dangosiadau, ac ymladdfa gwŷr y cleddyfau, a dosparthiad darnau o gig yn eu mysg hwynt: yr hyn bethau ydoedd mewn rhith i foddhau y lliaws, ond mewn gwirionedd i borthi creulondeb a gwallgof yr ymerawdwr. Y caeth-weision hefyd a ofidiasant, o herwydd caniattau iddynt gan Caius i gyhuddo a dirmygu eu meistriaid; a hwy a allent ei gael ef i'w hymddiffyn pan ddigient hwy yn ddi-achos. Canys yr ydoedd yn dra hawdd ganddo roddi crediniaeth iddynt yn erbyn eu meistriaid, ïe pan achwynoent arnynt ar gam: ac os byddai iddynt ddatguddio pa fesur o arian a fyddai gan eu meistriaid, gallent yn fuan ddisgwyl meddiannu cyfoeth a rhyddid, megis gwobrwyon eu cyhuddiadau: o herwydd fod gwobr y datguddwyr hyn yn * wythfed ran o feddiannau y cyhuddedig. Am yr ardderchogion, er ymddangos yr hanes yn gredadwy i rai o honynt; un ai o herwydd eu bod yn gwybod am y fradwriaeth o'r blaen, neu o herwydd yr ewyllysient fod y peth yn wir, hwy nid yn unig a guddiasant y llawenydd oedd ganddynt oddiwrth yr adroddiad, ond dangosant hefyd na wyddent ddim am dano. Y rhai olaf hyn a ymddygiasant felly hefyd oddiar ofn; rhag, os profai yr hanes yn anghywir, y cospid hwynt, trwy adael mor fuan i ddynion wybod eu meddyliau: a chan ofni rhag llefaru o honynt wrth rai y byddai parhad y gorthrymder yn fanteisiol iddynt: ac os digwyddai fod Caius yn fyw, gellid rhoddi hyspysrwydd o honynt, a dwyn cosp arnynt. Ac adroddiad arall a gerddodd o amgylch, mai er bod Caius wedi ei glwyfo, ei fod etto yn fyw, a than ddwylaw'r meddygon; ac ni allai neb edrych ar arall, megis ei fod yn ddigon ffyddlon i hyderu arno, ac i agor iddo ei feddwl. Canys un ai fe fyddai yn gyfaill i Caius, ac a wrth hynny yn cael ei ddrwg-dybio, megis yn ffafru ei orthrymder: neu ei fod yn un o'i gasäwyr; yr hwn gan hynny a amheuid ei fod yn haeddu yr hyder lleiaf, o herwydd ei ddrwg-ewyllys iddo. Ië, dywedwyd gan rai, (a hynny oedd y peth a ddifuddiodd y gwŷr ardderchog o'u gobaith, ac a'u gwnaeth

* Y gwobrwyon a gynhygid gan y cyfreithiau Rhufeinig, ydoedd ar brydiau yr wythfed ran o eiddo'r hwn a gaed yn euog, megis yma; ac weithiau y bedwaredd ran, fel y sicrha Spanheim i ni, allan o Suetonius a Tacitus.

yn athrist;) fod Caius mewn amgylchiad i allu dirmygu y peryglon a fuasai ynddynt; gan na ofalodd am drin ei glwyfau, ond myned o hono ymaith i'r farchnadfa; ac er mor waedlyd ydoedd, ddarfod iddo yno areithio wrth y bobl. A thyma chwedlau dychymmygol y rhai oedd mor afresymmol ac i ymdrechu cyfodi terfysg, y rhai a a droisant amryw ffyrdd, yn ol tybiau y rhai a'u traddodent. Etto ni adawsant eu heistedd-leoedd rhag ofn eu cyhuddo, os aent allan o flaen y lleill. Canys ni fernid hwy yn ol y gwir fwriadau oedd ganddynt yn myned allan, ond yn ol dychymmygion y cyhuddwyr ynghyd â'r barnwyr.

Ond yn awr lliaws o'r Ellmyniaid oeddynt wedi amgylchu'r chwareudy gyd â'u cleddyfau noethion; a'r edrychwyr oll ni ddisgwyliasant am ddim ond marwolaeth. Ac ar ddyfodiad pob un i mewn, dychryn a'u goddiweddodd hwynt, fel pe buasai pob un o honynt yn ddioed i gael eu gwneud yn dippynnau. Ac mewn cyfyngder mawr yr oeddynt, megis heb galondid ganddynt i fyned allan o'r chwareudy, na chredu eu hunain yn ddiogel os arhosent yno. A phan ddaeth yr Ellmyniaid ar eu gwarthaf hwynt, y cri ydoedd mor fawr, fel yr oedd y chwareudy yn datsain ag ymbiliau yr edrychwyr ar y milwyr: gan ddadleu eu hollol anwybodaeth o'r hyn oll a berthynai i'r fath fradwriaeth; ac os codasai eisioes wrthryfel na wyddent hwy ddim am dano. Hwy a ddeisyfiasant gan hynny na chospent rai nad oedd ganddynt y llaw leiaf yn y fath ddrwg-weithredoedd rhyfygus ag a berthynent i bersonau eraill; ac esgeuluso o honynt chwilio allan y rhai mewn gwirionedd a wnaethant yr hyn a wnaethpwyd. Fel hyn y darfu i'r bobl yma appelio at Dduw, a chwynfan oblegid eu sefyllfa annedwydd, gyd â thywallt dagrau a churo eu hwynebau: a llefaru'r hyn oll a allai'r perygl mwyaf, a'r eithaf ofn am eu bywyd eu haddysgu. Hyn a lonyddodd lidiowgrwydd y milwyr, ac a barodd iddynt edifarhau am yr hyn a amcanasent ei wneuthur i'r edrychwyr, yr hyn a fuasai yn weithred o'r creulondeb mwyaf. Ac felly'r ymddangosodd i'r rhai anwar, wedi iddynt unwaith osod pennau y rhai a laddwyd gyd ag Asprenas ar yr allor. Wrth ba olwg y gofidiwyd yr edrychwyr yn fawr, trwy ystyried uchelradd y personau, a thosturio wrth eu dioddefiadau: ïe, yn wir, yr oeddynt agos mewn cymmaint cynnwrf oddiar yr olwg o'r perygl yr oeddynt eu hunain ynddo: gan weled eu bod etto yn ansicr pa un a ddiangent rhag y cyffelyb ddinystr neu beidio. O herwydd hyn yr oedd, na allai y rhai oedd gashâwyr Caius, etto mewn un modd fwynhau y pleser o'i farwolaeth, am eu bod eu hunain mewn perygl o gael eu difetha gyd ag ef: am nad oedd ganddynt hyd yma ddim sicrwydd am eu bywyd.

Yr ydoedd yr amser hwn, un Euaristus Arruntius, cyhoeddwr pethau cyffredin yn y farchnadfa, ac am hynny yn un o lais cryf ac uchel; yr hwn oedd gymmaint ei drysor a'r cyfoethocaf o'r Rhufeiniaid, ac a allai wneuthur yr hyn a fynnai yn y ddinas, y pryd hynny ac yn ollaw. Y gwr hwn a ddododd ei hun yn y drych mwyaf galarus a fedrai, er bod ganddo gasineb mwy tu ag at Caius na neb arall. Ei ofn a'i gallineb ynghylch ei hunan-ddiogelwch a ragorodd ar ei hyfrydwch presennol: felly fe ddododd am dano y fath alarwisg ag a wnaethai ar farwolaeth un o'i anwyl gyfeillion. Y gwr hwn a ddaeth i mewn i'r chwareudy, ac a hyspysodd iddynt am farwolaeth Caius; a thrwy hynny a roddodd derfyn ar yr anwybodaeth yr oedd y bobl ynddo. Arruntius hefyd a aeth o amgylch ogylch i'r colofnau; ac a lefodd allan ar y milwyr, megis y darfu i'r tribuniaid hefyd, gan beri iddynt roddi eu harfau heibio, a dywedyd wrthynt fod Caius wedi marw. A'r cyhoeddiad yma ydoedd yn amlwg y peth a achubodd y rhai oedd wedi ymgynnull yn y chwareudy, a phawb eraill a gyfarfuont â'r Ellmyniaid: canys tra'r oeddynt yn gobeithio etto fod ei anadl yn parhau yn Caius, ni arbedent wneuthur un math o niweid. A'r fath ydoedd eu ffyddlondeb tu ag at Caius, fel y buasent yn ewyllysgar yn attal y bradwriaeth i'w erbyn, ac yn peri iddo ddiangfa rhag y fath ddychrynllyd ddamwain, ar gost eu bywydau eu hunain. Ond yn awr hwy a adawsant heibio y sêl danbaid oedd ganddynt, tu ag at gospi ei elynion, wedi darfod bellach eu hollol foddloni fod Caius wedi marw: o herwydd mai oferedd ydoedd iddynt ddangos eu sêl a'u caredigrwydd atto ef, pan ydoedd yr hwn a'u gwobrwyai hwynt wedi ei ddifetha. Hwy a ofnasant hefyd

rhag eu cospi gan y senedd, os elent ym mlaen i wneud y fath alanastra; hynny yw, os byddai i awdurdod y prif-lywydd dderbyn ei rym oddiwrthynt hwy. Ac fel hyn o'r diwedd y dodwyd attalfa, er nad heb anhawsdra, i'r cynddaredd oedd wedi meddiannu'r Ellmyniaid ar gyfrif marwolaeth Caius.

Ond yr oedd Cherea tan gymmaint ofn am Minucianus, rhag cyfarfod o hono a'r Ellmyniaid, â hwy yn awr yn eu gwylltineb, fel yr aeth ac y siaradodd wrth bob un o'r milwyr, gan wneuthur ymofyniad mawr am dano, ac attolygu arnynt ofalu am ei achubiaeth, rhag digwydd ei ladd ef. Ac am Clement, efe a adawsai i Minucianus fyned ymaith pan ddygwyd atto ef; a chyd â llawer o'r seneddwyr eraill, cadarnhasant fod y weithred yn uniawn, gan ganmol rhinweddau y rhai a'i lluniasai hi, ac oedd â chalondid ddigon ganddynt i'w chyflawni: gan ddywedyd, fod gorthrymwyr yn wir yn boddhau eu hunain, ac yn edrych yn fawr tros amser, wrth fod ag awdurdod ganddynt i weithredu yn anghyfiawn; ond nid aent mewn modd happus o'r byd, o herwydd eu cashau gan y rhai rhinweddol. A bod Caius, gyd â'r holl anhappusrwydd hwn, wedi dyfod yn fradwr i'w erbyn ei hun, cyn i'r gwŷr hynny a ymosodasant arno ef fod felly: a chan ddyfod yn annioddefol trwy osod o'r neilldu ddoeth arlwyad y cyfreithiau, a addysgodd ei gyfeillion puraf i ymddwyn atto megis gelyn: yn gymmaint ag er mewn siarad cyffredin y cydfwriadwyr hyn oedd y rhai a laddasant Caius; etto ei fod, mewn gwirionedd, yn gorwedd yn farw megis wedi ei ladd ganddo ei hun.

Erbyn y pryd hyn y bobl ag oedd yn y chwareudy a gyfodasent o'u heistedd-leoedd; a'r rhai oeddynt o'i fewn a wnaethant gynnwrf mawr; yr achos o'r hyn ydoedd, fod yr edrychwyr mewn gormod o frys am fyned ymaith. Yr ydoedd yno hefyd un Alcyon, physygwr, yr hwn oedd yn prysuro i fyned, megis pe buasai i iachau rhyw rai a archollasid: a than rith o hynny efe a ddanfonodd y rhai oedd gyd ag ef i ymofyn y cyfryw bethau ag oedd angenrheidiol i drin y rhai briwedig: ond ei ddiben oedd i'w cael ymaith yn ddiangol o gyrraedd y peryglon yr oeddynt ynddynt. Yn awr yn yspaid yr amser hwn y senedd a ymgyfarfyddodd, a'r bobl yn y fforum, a phob un yn gwneud ymofyniad am fwrdrwyr Caius. Y bobl a'i gwnaethant gyd â phrysurdeb mawr; ond y senedd mewn ymddangosiad yn unig. Canys yr ydoedd yn bresenol un Valerius o Asia, yr hwn a fuasai yn brif-swyddog. Y gwr hwn a aeth i blith y bobl, a hwy mewn annhrefn, ac yn dra anesmwyth am na fedrent chwilio allan pwy oedd y rhai a laddasent yr ymerawdwr. Gofynnent gan hynny yn daer iddo i gyd, pwy oedd y rhai a'i gwnaethai? Attebodd yntau, "Dymunaswn mai myfi a fuasai'r dyn." Y prif-swyddogion hefyd a osodasant allan gyhoeddiad, ym mha un y cyhuddent Caius; gan orchymmyn i'r bobl a ymgasglasent ynghyd, ac i'r milwyr i fyned i'w cartrefi: a hwy a roesant i'r bobl achos i obeithio, am leihâd o'r gorthrymderau yr oeddynt yn gorwedd tanynt: ac a addawsant i'r milwyr os arhosent yn llonydd, fel yr arferent fod, ac nad elent o amgylch i wneuthur drygau yn anghyfiawn, y cyfrennid gwobrwyon iddynt. Canys yr oedd rheswm i ofni rhag i'r ddinas ddioddef niweid oddiwrth wylltineb eu hymddygiad a'u hanllywodraeth, os unwaith yr ymroddent eu hunain i yspeilio'r dinasyddion, ac anrheithio'r temlau. Ac yn awr yr oedd holl liaws y seneddwyr wedi cydymgynnull, ac yn enwedig y rhai oedd wedi cydfwriadu cymmeryd ymaith fywyd Cæsar; y rhai a ymwisgasant y pryd hyn â gwedd dra hyderus ac a ymddangosasant gyd â mawrfrydigrwydd, megis pe buasai gweinyddiad yr achos cyffredin wedi disgyn eisoes arnynt hwy.

## PENNOD II.

*Am wahanol feddyliau y Seneddwyr a'r Milwriaid ymherthynas i'r ffurf o lywodraeth; lladd Gwraig Caius, a'i Ferch; ac adroddiad moesau Caius.*

PAN oedd yr achos cyffredin yn yr agwedd yma, Claudius a aethai ar ffrwst allan o'i dŷ. Canys y milwyr a gydgyfarfuasent: ac wedi ystyried o honynt pa beth a wnelid, canfuant fod gwerin-lywodraeth yn analluog i iawn drefnu achosion cyhoeddus o'r fath bwysau ac ehangder; a phe gosodid i fynu na allai fod yn fanteisiol iddynt: a phe digwyddai i ryw un ag oedd eisoes yn y llywodraeth feddiannu'r oruchaf awdurdod, byddai ym mhob ystyriaeth er eu gofid, os na fyddent gynnothwyol iddo yn y derchafiad hwn-

nw. Y byddai gan hynny yn beth iawn iddynt hwy, tra'r oedd yr achosion cyhoeddus yn ansefydlog, i ddewis Claudius yn ymerawdwr, yr hwn oedd ewythr i'r Caius a fuasai farw; ac o uwchraddau a gwerth i un o'r rhai a ymgyfarfuant yn y senedd; yn gystal ar gyfrif rhinweddau eu hynafiaid, a'r dysgeidiaeth a gyrraeddasai yn ei ddygiad i fynu; a'r hwn, wedi unwaith ei sicrhau yn y llywodraeth, a'u gwobrwyai yn ol eu haeddedigaethau, a chyfranu yn helaeth iddynt. Hyn oedd eu hymgynghorion, a hwy yn ebrwydd a'u cyflawnasant. Claudius gan hynny a oddiweddwyd yn ddisymmwth gan y filwriaeth. Ond Chens Sentius Saturninus, er deall o hono ddarfod cyfarch Claudius, a'i fod yn bwriadu cleimio 'r llywodraeth; eithr mewn ymddangosiad yn anewyllysgar, ond er hynny trwy ei rydd gydsyniad, a safodd i fynu yn y senedd, ac heb ddim dychryn, a areithiodd wrthynt; a'r cyfryw un ag oedd addas i wŷr o ryddid a haelioni, gan lefaru fel hyn: "Er ei fod yn beth anghredadwy, O Rufeiniaid, o herwydd meithder mawr yr amser, ddarfodd i ddamwain mor annisgwyliadwy ddigwydd yn ein mysg; etto yr ydym yn awr yn meddiannu rhyddid. Pa hyd y pery hyn yn wir sydd ansicr; ac y mae'n gorphwys ar drefniad y duwiau, rhodd pa rai ydyw. Etto y fath yw ag sy'n ddigonol i beri i ni lawenychu, a bod yn ddedwydd am yr amser presennol, er y gallwn gael yn fuan ein difuddio o hono. Canys y mae un awr o ymarferiad â rhinwedd yn dwyn boddlonrwydd, ym mha un y gallwn fyw â meddwl heddychlon yn ein gwlad ein hunain, yn awr wedi ei rhyddhau, ac yn cael eu llywodraethu gan y fath gyfreithiau ag yr oedd unwaith yn blodeuo tanynt. Am danaf fy hun, ni fedraf gofio ein hamser o ryddid blaenorol, megis wedi ei eni ar ol ei ddiflaniad neu fynediad ymaith. Ond fe'm llenwir tu-hwnt i fesur yn awr â llawenydd, wrth feddwl am ein rhyddid presennol. Yr wyf hefyd yn cyfrif y rhai hynny a anwyd ac a ddygwyd i fynu yn amser ein rhyddid hwnnw yn ddynion dedwydd; a bod y dynion hynny yn deilwng o ddim llai parch na'r duwiau eu hunain ac a roddodd i ni brawf o honynt yn yr oes hon. Ac mi a ewyllysiwn o'm calon fod i'n mwynhad heddychlon, ag sydd gennym yn awr, barhau ym mhob oes. Pa fodd bynnag, yr unig ddydd hwn a all beri digonedd i'n hieuengctyd, yn gystal ag i ninneu sydd yn oedrannus. Ymddegnys megis oes i'n hen wŷr, pe byddent ond i farw yn oed ei barhâd. Gall hefyd fod er hyfforddiad i'n rhai ieuangaf, pa fath rinwedd a ymarferid ganddynt hwy o lwynau pa un y deillient. Am danom ein hunain, ein gorchwyl yw yn yspaid hyn o amser i fyw yn rhinweddol; na'r hyn ni all dim fod yn fwy er ein mantais; pa ryw yrfa o rinwedd yn unig a all gadw ein rhyddid. Canys am ein sefyllfa yn yr amser gynt, clywais am dani wrth ei hadrodd gan eraill; ond am ein cyflwr diweddarach yn fy amser fy hun, gwybum am dano trwy brofiad; ac a ddysgais wybod oddiwrth hynny pa ddrygau a ddug orthrymder ar y wladwriaeth hon, trwy wanhau pob rhinwedd; difuddio gwŷr enwog o'u rhyddid, a phrofi yn ddysgawdwyr gweniaeth ac ofn caethiwus: o herwydd ei fod yn gadael y gweinidogaethiad cyffredin i'w lywodraethu, nid gan ddoeth gyfreithiau, ond gan nwydau y rhai a lywodraethent. Canys wedi i Julius Cæsar ysgaru ein gwerin-lywodraeth, a chan wasgu yn drwm ar ansawdd reolaidd ein cyfreithiau, ddwyn annhrefn i mewn i'n gosodedigaethau gwladol; ac i gyrraedd uwchlaw yr hyn oedd uniawn a chyfiawn, a bod yn gaethwas i'w dueddiadau ei hun, nid oes un math o drueni a'r na wasanaethodd i ddadymchweliad y ddinas hon. Pan y darfu i'r rhai oll ai dilynasant ef, megis ymdrechu a'u gilydd, i ddadymchwelyd cyfreithiau hynafol eu gwlad, gan ei hymddifadu o'r cyfryw ddinasyddion ag oedd o egwyddorion boneddigaidd: o herwydd iddynt feddwl y tueddai yn fwy er eu diogelwch fod ganddynt ddrwg-ddynion i ymgynghori â hwynt: ac nid yn unig i wanhau ysprydoedd y rhai a berchid fwyaf am eu rhinwedd, ond ymroddi i'w hollol ddinystrio. O'r holl ryw ymerawdwyr a ddygodd galedi o amryw fath arnom, tra parhaodd eu teyrnasiad, y Caius hwn ag sydd heddyw wedi ei ladd, a ddygodd arnom drallodion mwy enbyd na'r lleill i gyd, nid yn unig trwy arfer ei gynddeiriogrwydd anllywodraethus tu ag at ei gyd-ddinasyddion, ond hefyd tu ag at ei garennydd a'i gyfeillion, ac yn gyffelyb i hynny at bawb eraill; a thrwy osod etto fwy o drueni ararnynt yn gospedigaeth yr hyn ni haeddasant, gan ei fod o gydradd lidiogrwydd tu ag at ddynion, ac at y duwiau.

Canys gormeswyr ni foddlonant ar ynnill ples-

serau iddynt eu hunain, a hynny trwy niweidio eraill, a gwneuthur cam iddynt hwy a'u teuluoedd: ond edrychant ar hynny fel eu prif fantais, pan allont gwbl ddadymchwelyd teuluodd eu gelynion; o herwydd y mae holl barchwyr rhyddid yn elynion i orthrymder: ac ni all y rhai sy'n dioddef yn amyneddgar, y trallodion a ddygant arnynt ynnill eu cyfeillgarwch. Canys fel y maent yn gydwybodol o'r aneirif ddrygau a ddygasant ar y dynion hyn; ac y gwelant a pha fawrfrydigrwydd y dioddefasant eu tost driniaethau; ni allant amgen na bod yn deimladwy o'r drygau a wnaethant: ac yna hyderu yn unig ar ddiogelwch rhag yr hyn y maent yn ei ddrwg-dybio, os dichon fod yn eu gallu eu cymmeryd ymmaith yn llwyr o'r byd. Fel ag yr ydym yn awr gan hynny wedi ein gwaredu oddiwrth y fath anhap, a'n bod yn unig yn gyfrifedig y naill i'r llall; pa ryw ffurf o lywodraeth sy'n rhoddi i ni y sicrwydd gorau o'n presenol gydfod, ac sy'n addo i ni y diogelwch goreu rhag drwg amcanion; ac a fydd er ein clod ein hunain yn dyfod a'r ddinas i iawn drefn: dylech gan hynny, bob un o honoch yn neillduol, wneuthur parottöad trosoch eich hunain, a thros leshad pawb yn gyffredinol o'r wladwriaeth: neu, yn y gwrthwyneb, gallant ddatgan eu hanghydsyniad a'r cyfryw bethau ag a gynhygiwyd, a hynny heb ddim perygl o gospedigaeth i ddyfod arnynt, o herwydd nad oes ganddynt yn awr un arglwydd wedi ei osod arnynt: y rhai heb ofn cosp i ddyfod arnynt, a allant wneuthur drygau i'r ddinas, ac a fyddai ganddynt allu anwythwynebol i gymmeryd ymaith y rhai a rydd-ddangosent eu meddyliau. Ac ni fu un peth ag a barodd gymmaint o gynnydd i'r gorthrymder diweddar a syrthni hwyrfrydig, ac arswyd gwrthwynebu ewyllys yr ymerawdwr: tra'r oedd gan ddynion ormodol duedd at esmwythdra heddychol, a dysgu byw fel caeth-weision: a chynnifer o honom ag a glybu am drallodion a ddigwyddodd mewn pellder oddi wrthym, neu a welsom y trueni oedd gerllaw i ni, oddi ar ofn marw yn rhinweddol, a ddioddefasant farwolaeth ynglŷn a'r dirmyg pennaf. Dylem gan hynny, yn y lle blaenaf, orchymmyn yr anrhydedd mwyaf a allom i'r rhai a gymmerasant ymaith y gorthrymwr, yn enwedig i Cherea Cassius: canys y dyn hwn yn unig, gyd â chymmorth y duwiau, a ddygodd i ni ryddid trwy ei gynghorion a'i weithredoedd. Ac ni ddylem ei anghofio yn awr wedi adferyd i ni ein rhyddid, yr hwn o'tan y gorthrymder blaenorol, a ymgynghorodd ym mlaenllaw, ac a beryglodd ei hun er mwyn ein rhyddyd; ond cyfrif iddo anrhydedd addas, a thrwy hynny amlygu ar gyhoedd ei fod ef wedi gweithredu yn un a'n dymuniad ni o'r dechrau. Ac yn sicr, y mae'n beth tra odiaethol, a'r hyn sy'n gweddu i wŷr rhyddion, ad-dalu i'w cymmwynaswyr, fel ag y bu'r gwr hwn yn gymmwynaswr i ni i gyd: etto nid oll megis Cassius a Brutus, y rhai a laddasant Cassius Julius Cæsar: canys y dynion hynny a osodasant sylfaen i ymryson, a rhyfel cartrefol yn ein dinas ni: ond y dyn hwn, gyd â'i laddiad o'r gorthrymwr, a osododd ein dinas yn rhydd oddiwrth yr holl drueni hwnnw, pa un a gyfododd oddiwrth y gorthrymder."

Dyma oedd ddefnydd araith Sentius, yr hon a dderbyniwyd gyd â phleser gan y seneddwyr, a chan gynnifer o'r radd farchogawl ag oedd yn bresennol. Ac yn awr un Trebellius Macsimus a gododd i fynu ar frys, ac a gymmerodd ymaith fodrwy oddi am fys Sentius, yr hon oedd ganddi faen gwerthfawr wedi ei argraphu â delw Caius: a'r hon oddiar ei sel yn llefaru, a'i brysurdeb gyd â'r peth yr oedd yn ei gylch, a anghofiasai, fel y tebygid, ei chym'ryd ymaith ei hun. Y cerfiad hwn ar y fodrwy a ddrylliwyd yn uniongyrch. Ond fel yr oedd yn awr ymhell yn y nôs, Cherea a ofynnodd y gwŷl-air gan y swyddogion; y rhai a roddasant iddo y gair hwn, Rhyddid. Y digwyddiadau hyn oeddynt fatterion o ryfeddod, ac agos yn anghredadwy ganddynt eu hunain: canys yr oedd †can mlynedd wedi myned heibio, er pan osodasid o'r neilldu y gwerin-lywodraeth, pan y ddychwelodd rhoddiad y gwŷl-air hwn i'r prif-swyddogion. Canys cyn i'r ddinas fod yn ddarostyngedig i orthrymwyr, hwy oeddynt flaenoriaid byddinoedd: ond pan dderbyniodd Cherea y gwŷl-air hwnw, efe a'i traddododd i'r rhai o du 'r senedd, y rhai oeddynt bedair mintai; a'r rhai a gyfrifent y llywodraeth heb ymerawdwyr yn fwy dewisol na gorthrymder: felly y rhai hyn a aethant ymaith gyd a'u tribun-

† Oddiyma y deallwn, yn ol barn Saturninus, fod goruchel awdurdod y prif-swyddogion a'r senedd wedi ei gymmeryd ymaith, yn gymmwys 100 o flynyddau cyn marwolaeth Caius, B. A. 41, neu yn y dri-ugeinfed flwyddyn o flaen y cyfrif Crist'nogol, pan ddechreuodd y triwyr-lywodraeth gyntaf, tan Cæsar, Pompey, a Crassus yn Rhufain.

iaid. Y bobl hefyd a ymadawsant yn awr yn llawn gobaith a chefnogrwydd, megis wedi adferyd iddynt eu blaenorol werin-lywodraeth, ac heb fod yn 'chwaneg tan ymerawdwyr: a Cherea ydoedd mewn parch mawr gyd a hwynt.

Yn awr yr ydoedd Cherea yn dra anesmwyth wrth fod merch a gwraig Caius etto yn fyw, ac am na ddifethwyd ei holl deulu gyd ag ef; canys pwy bynnag o honynt a adewid, hynny a fyddai er dinystr i'r ddinas, ac i'r cyfreithiau. Mewn trefn gan hynny i orphen y matter hwn gyd â'r sêl fwyaf, ac i'r diben i gyflawn foddloni ei gasineb yn erbyn Caius, danfonodd at Julius Lupus, un o'r tribuniaid, am ladd gwraig a merch Caius. Gosodasant y gorchwyl hwn i Lupus megis câr Clement, fel y gallai mor bell a hynny fod yn gyfrannog o lofruddiad y gorthrymwr, a llawenychu o hono yn y rhinwedd o fod yn gynnorthwyol i'w gyd-ddinasyddion; ac fel yr ymddangosai ei fod yn gyfrannog gyd â'r rhai a amcanodd gyntaf yn ei erbyn. Etto fe ymddangosodd y weithred hon i rai o'r cyd-fwriadwyr yn ormod creulondeb, megis i arfer y fath annhrugarogrwydd tu ag at wraig: o herwydd i Caius roddi mwy o gynhwysiad i'w ddrwg-nattur ei hun, nag i'w chyngór hi yn yr hyn oll a wnaethai; oddiwrth ba ddrwg-nattur neu dymmer yr ydoedd, fod y ddinas yn y fath gyflwr anobeithiol trwy'r niweid a ddygwyd arni. Ond eraill a'i cyhuddodd o roddi ei chydsyniad i'r pethau hyn; ïe, yr oeddynt yn cyfrif yr hyn oll a wnaeth Caius iddi hi fel yr achos o hono; ac yn dywedyd roddi o honi serch-ddiod hudoliaeth iddo; yr hyn a'i rhwymodd i ormodol hoffder o honi: yn gymmaint ag y darfu iddi, wedi ei wallgofi ef, ddyfod yn achos o'r holl ddrygau a oddiweddodd y Rhufeiniaid, a'r byd trigiannol oedd yn ddarostyngedig iddynt. Felly o'r diwedd fe derfynwyd fod yn rhaid iddi farw. Ac ni allai y rhai o dyb wahanol lwyddo i'w hachub hi; a Lupus a ddanfonwyd yn ganlynol. Ac ni wnaethpwyd dim oediad ynghyflawniad yr hyn a wnaethai yn ei gylch; ond efe a fu offerynnol i'r rhai a'i danfonasai ef gyd â'r cyfleustra cyntaf; megis heb ewyllysio bod mewn un modd yn ddiffygiol yn yr hyn a dueddai at fantais y bobl. Felly wedi dyfod i mewn i'r palas, efe a gafodd Cesonia, yr hon oedd wraig Caius, yn gorwedd wrth gorph marw ei gwr, pa un oedd hefyd ar y llawr, yn ddiffygiol o'r holl bethau y mae'r gyfraith yn ei ganiattau yn achos y meirw; a hi ei hun hefyd wedi ei thrybaeddu â gwaed ei gwr, ac yn cwynfan oblegid y cystudd mawr yr ydoedd ynddo: a'i merch yn gorwedd hefyd yn ei hymyl. Ac ni chlywyd dim arall ganddi yn yr amgylchiad hwn ond ei hachwyniad ymherthynas i Caius; megis pe buasai heb sylwi ar yr hyn a ddywedasai wrtho yn fynych o'r blaen. Pa ryw eiriau o'r eiddo hi a gymmerwyd mewn gwahanol ystyr, ïe yn y pryd hwnnw; ac a gyfrifir yn awr yn gyffelyb amhëus gan y rhai a glywant am danynt, ac a ddeonglir fyth yn ol gwahanol dueddiadau'r adroddwyr. Canys rhai a ddywedant fod y geiriau'n arwyddo iddi ei fynych gynghori i adael heibio ei ymddygiad gwallgofus, a'i greulondeb barbaraidd tu ag at y dinasyddion; ac i lywodraethu'r cyffredin trwy gymmedroldeb a rhinwedd; rhag iddo yntau gael ei ddifetha yn yr un ffordd, trwy ymddwyn o honynt atto ef, yn gyffelyb i'r modd yr ymddygasai yntau attynt hwy. Ond eraill a ddywedasant, mai fel ag yr oedd rhai geiriau wedi digwydd rhyngddynt ymherthynas i'r cydfwriadwyr, iddi ddymuno ar Caius na wnai ddim oed, ond eu dodi oll yn union-gyrch i farwolaeth, pa un bynnag a fyddent yn euog neu beidio; ac mai wrth hynny na byddai raid iddo ofni iddo ei hun ddim perygl. Ac mai am hyn yr oedd yn ei waradwyddo, pan gynghorasai ef i wneuthur hynny, ei fod ef yn rhy araf a llwfr yn yr achos. A hyn oedd y peth a ddywedodd Cesonia, yn ol barn eraill o'r bobl am dani. Ond pan welodd Lupus yn nesâu, hi ddangosodd iddo gorph marw Caius; ac a'i cymhellodd i ddyfod yn nes gyd ag wylofain a dagrau. Ond fel y canfu Lupus mewn cynnwrf, ac yn dynesu atti mewn trefn i gyflawni rhyw weithred anghyttun a'i feddwl: yna deallodd i ba ddiben y daethai, ac yn ewyllysgar a osododd i lawr ei gwddf noeth, gan gwynfan oblegid ei chyflwr truenus, fel un yn hollol anobeithio am fywyd; a pheri iddo na rusai orphen yr erchyllwaith a fwriadasent arni hi. Yna yn hŷf hi dderbyniodd ei * chlwyf marwol trwy ddwylaw Lupus; megis ag y darfu y ferch ar ei hol ;

* Suetonius sy'n cadarnhau yr hyn a ddywed Josephus yma, ddarfod i Cesonia, gwraig Caius, yn gystal a'i merch, gael eu lladd yr amser hwn.

a Lupus a brysurodd i fynegi i Cherea'r hyn a wnaethai.

Dyma fu ddiwedd Caius, wedi iddo deyrnasu pedair blynedd, ond pedwar o fisoedd. Yr oedd efe, ïe, cyn ei ddyfod yn ymerawdwr, yn un o dymmer ddrwg; ac yn un a gyrraeddasai y radd eithaf o annuwioldeb; yn gaethwas i'w bleserau, ac yn caru enllibiau: a gythryblid yn fawr gan bob damwain ddychrynllyd; ac ar y cyfrif hwnnw ydoedd o dymmer dra chreulon a chwerw lle y meiddiai ei ddangos. Efe a arferodd ei awdurdod ddi-rëol i'r unig bwrpas o niweidio rhai ag oedd leiaf yn ei haeddu, gyd â thrahaustra annioddefol, ac a gasglodd ei gyfoeth trwy fwrdrad ac anghyfiawnder. Efe a lafuriodd i ymddangos uwchlaw yr hyn oedd ddwyfol neu unol â'r cyfreithiau; ond a oedd gaethwas i ganmoliaeth y lliaws. A pha beth bynnag a farnodd y cyfreithiau fod yn gywilyddus ac yn gospedigol, hyuny a gyfrifodd yn fwy anrhydeddus na'r hyn oedd rinweddol. Yr oedd efe yn anystyriol o'i gyfeillion, pa mor agos bynnag a fyddent, er eu bod yn rhai o'r graddau uwchaf. Ac os unwaith y digiai wrthynt, efe a osodai gosp marwolaeth arnynt am yr achos lleiaf: ac a gyfrifai bob dyn a ymdrechai i arwain bywyd rhinweddol yn elyn iddo: a pha beth bynnag a orchymmynai, ni oddefai ddim gwrthwynebiad. Oddiwrth hyn yr oedd fod cyfeillach anghyfreithlon, neu ymdesach rhyngddo a'i * chwaer ei hun. Oddiwrth ba achos yn bennaf y cododd casineb chwerw gyntaf tu ag atto ym mysg y dinasyddion; gan fod y fath hynny o ymlosgach yn anadnabyddus er's hir amser. Ac fel hyn a annogodd ddynion i anhyderu ynddo, a chashau yr hwn oedd yn euog o'r fath ffieidd-dra. Ac am unrhyw waith godidog a brenhinol a wnaeth efe, ag a fyddai ddefnyddiol i'r oes honno, a'r rhai a ganlynent, ni all neb enwi y cyfryw, ond yn unig y porthladd a wnaeth ynghylch Rhegium a Sicily, i dderbyn y llongau a ddygai ŷd o'r Aipht. Hwn yn wir ydoedd waith mawr ynddo ei hun, ac yn fanteisiol i fordwyaeth, etto ni ddygwyd mo'no ganddo ef i berffeithrwydd; ond y naill hanner o hono a adawyd yn anorphen, o ddiffyg ei ofal yn ei gylch. Yr achos o'r hyn ydoedd, am iddo osod ei feddyliau ar bethau diles: ac wrth wario ei arian ar ei blesserau, nad oedd fuddiol i neb ond ei hun, ni allai ddefnyddio ei wybodaeth a'r bethau ag oedd yn ddi-ddadl o fawr ganlyniad. Yn amgen yr ydoedd yn areithydd rhagorol, ac yn gwbl hyspys o'r iaith Roeg, yn gystal ag iaith ei wlad ei hun, sef y Rhufeinig. Yr ydoedd hefyd yn barod i wneud attebion i gyfansoddiadau o waith eraill, o hyd a chywreinrwydd rhagorol. Yr oedd hefyd yn fwy medrus i berswadio eraill i bethau mawrion, na neb heblaw ei hun; a hynny oddiwrth addfwynder tymmer naturiol, pa un a chwanegwyd trwy lawer o ymarfer. Canys fel yr oedd efe yn † ŵyr i frawd Tiberius, dilynydd pa un ydoedd, hyn oedd yn ddeniad mawr iddo i gyrraedd dysgeidiaeth; o herwydd fod Tiberius wedi ymestyn at y radd uchaf o enwogrwydd y ffordd honno: a Caius a ymgyrhaeddodd at y cyffelyb glod o araithyddiaeth; wedi ei ddenu i hynny trwy lythyrau ei gâr a'i ymerawdwr. Yr ydoedd hefyd o'r radd flaenaf ym mhlith ei gyd-ddinasyddion. Ond y manteision a gafodd oddiwrth ei ddysgeidiaeth, ni oruwch-bwysodd y drygau a ddygodd arno ei hun, yn yr ymarferiad o'i awdurdod. Mor anhawdd ydyw i'r rhei'ny feddu rhinwedd angnenrhaid i ddyn doeth, y rhai sydd ag awdurdod gyfan-gwbl ganddynt i wneud yr hyn a welont yn dda, heb derfyn iddynt. Ar y cyntaf fe gafodd iddo y fath gyfeillon ag oedd deilwng ym mhob ystyriaeth, ac efe a hoffid yn fawr ganddynt, tra y dilynodd eu diwydrwydd yn myfyrio ar ddysgeidiaeth, ac ar weithredoedd y dynion goreu. Ond wedi iddo ymfalchio a myned yn drahaus tu ag attynt; gadawsant o'r neilldu y caredigrwydd oedd ganddynt tu ag atto, ac a ddechreuasant ei gashau. Oddiwrth ba ryw gasineb y cyfododd y bradwriaeth a luniasant i'w erbyn, a thrwy'r hwn ei difethwyd ef.

## PENNOD III.

*Am oddiweddiad Claudius gan y Milwriaid; ac am y gennadwriaeth a ddanfonwyd atto gan y Senedd.*

YN awr, Claudius, megis y dywedais eisoes,

*Spanheim sydd yn nodi allan yma o Suetonius, mai Drusila ydoedd enw chwaer Caius, gyd â'r hon yr oedd yn euog o ymlosgach; a bod Suetonius yn chwanegu, ei fod yn euog o'r un drygioni gyd â phob un o'i chwiorydd. Y mae yn nodi ymhellach, fod Suetonius yn gadael o'r neilldu grybwyll am y porthladd i longau, yr hwn y mae'n awdwr yn ei gyfrif yr unig orchwyl cyhoeddus, er lles yr oes hon a'r nesaf, a adawodd Caius ar ei ol, er mwyn cyflwr amherffaith.

† Y Caius hwn ydoedd fab y person rhagorol hwnnw Germanicus, yr hwn oedd fab Drusus, brawd Tiberius, yr ymmerawdwr

a aeth allan o'r ffordd a ddilynwyd gan Caius. Ac fel yr oedd y teulu mewn terfysg mawr ar y ddamwain arswydus o lofruddiad Caius; yr ydoedd Claudius hefyd mewn cyfyngder, o ddiffyg gwybod pa fodd i'w achub ei hun: ac fe'i cafwyd wedi ymguddio mewn rhyw le cul; er nad oedd achos iddo ddrwg-dybio am berygl, heblaw mewn perthynas i uchel-radd ei enedigaeth. Canys tra yr ydoedd yn ddyn neillduol, efe a ymddygodd ei hun gyd â chymmedroldeb, ac a foddlonodd ar ei gynhaliaeth presennol: gan ymroddi ei hun i ddysgeidiaeth, yn enwedig i ddysgu y Groeg-iaith; ac ymgadw oddiwrth bob peth a barai aflonyddwch iddo. Ond megis ar yr amser hwn yr oedd y lliaws mewn cythrwfl, a'r holl balas yn llawn o wallgofrwydd y milwyr: a gwarchawdlu'r ymerawdwr a ymddangosent yn y cyffelyb ofn ac arswyd gyd â phersonau neillduol eraill: llu y Pretoriaid, a gyfrifid yn rhan buraf o'r fyddin, ydoedd mewn cyfyng-gyngor y pryd hwn ynghylch yr hyn oedd oreu ei wneuthur. Yn awr, y rhai oll ydoedd o'r cyngor hwn, ni ystyriasant ond ychydig am y gospedigaeth a ddioddefodd Caius, o herwydd iddo gyflawn haeddu y fath ddigwyddiad: ond yr oeddynt yn hytrach yn ystyried eu hamgylchiadau, pa fodd y cymmerent y gofal goreu am danynt eu hunain; yn enwedig tra'r oedd yr Ellyniaid yn prysur gospi y rhai a laddasent Caius; yr hyn etto a wnaethant yn hytrach i foddloni eu tymmer fwystfilaidd eu hunain, nag er lles cyffredin. Yr holl bethau hyn a barodd aflonyddwch i Claudius, yr hwn oedd yn ofni am ei ddiogelwch ei hun: a hynny yn enwedig pan welodd bennau Asprenas a'i gymheiriad yn cael eu dwyn o amgylch. Ei sefyllfa ef ydoedd mewn rhyw le uchel, i'r hwn yr aethai yn y tywyllwch wrtho ei hun. Ond wedi i Gratus, un o'r milwyr a berthynai i'r palas, ei ganfod ef, ac heb wybod yn sicr wrth ei wynebpryd pwy ydoedd, o herwydd ei bod yn dywyll; er y deallai yn dda mai rhyw un ydoedd a ddaethai yno ar amcan neillduol, efe a nesaodd atto; ac wedi i Claudius ddymuned arno fyned ymaith, efe a ddeallodd pwy ydoedd. Felly efe a ddywedodd wrth ei ddilynwyr, "Dyma § Germanicus; deuwch ym mlaen, a gwnawn ddewisiad o hono ef yn ymerawdwr." Ond pan welodd Claudius eu bod yn parottoi i'w gymmeryd ymaith trwy drais, ac yn ofni ei ladd ganddynt megis y lladdasent Caius, deisyfodd arnynt ei arbed; gan ddodi ar ddeall iddynt y modd yr ymddygodd efe yn llonydd, a'i fod yn anhyspys o'r pethau a wnaethpwyd. Wrth hyn Gratus a wenodd arno, gan ei gymmeryd erbyn ei law a dywedyd, "Gadewch heibio, syr, y meddyliau gwael yma o achub eich hun, tra dylech gymmeryd uwch meddyliau, ïe, am feddiannu yr ymerodraeth; yr hyn y mae'r duwiau, oddi ar eu gofal am y byd cyfanneddol, trwy gymmeryd Caius oddi ar y ffordd, yn ei orchymmyn i'ch arweiniad rhinweddol chwi. Cymmerwch gan hynny i chwi orsedd eich henafiaid." Felly hwy a'i cymmerasant i fynu, ac a'i dygasant ymaith, o herwydd nad oedd alluog i fyned ar draed; y fath ydoedd ei ofn, a'i lawenydd wrth yr hyn a ddywedwyd wrtho.

Yn awr, yr ydoedd eisoes wedi ymgrynhoi o amgylch Gratus nifer mawr o'r gwarchawdlu. A phan welsant Claudius yn cael ei gymmeryd ymaith, edrychasant yn wynebdrist, gan feddwl ei fod yn myned i'w ddihenyddio, am y drygau a wnaethid eisoes; tra'r oeddynt etto yn ei farnu yn ddyn na ymdriniodd un amser â matterion cyhoeddus, ac yn un na chyfarfu â dim pethau niweidiol tan deyrnasiad Caius. A rhai o honynt a dybiasant yn rhesymmol i'r prifswyddogion gymmeryd sylw o'r matterion hyn. Ac fel yr oedd y milwyr fwyfwy yn dyfod ynghyd, y dorf oedd o'i amgylch a redasant ymaith, ac ni allai Claudius ond yn anhawdd fyned ym mlaen, am fod ei gorph mor egwan: a'r rhai oedd yn cario ei gadair ym mhaun yr eisteddai, yn eu hymofyniad am yr achos o'i symmudiad, a redasant ymaith, i'w hachub eu hunain, megis yn anobeithio am ddiogelwch eu harglwydd. Ond wedi eu dyfod i gyntedd ehang y palas, (pa un, yn ol yr hanes, a breswylid gyntaf o holl rannau dinas Rhufain), a chyrraedd hyd at y drysorfa gyffredin, llawer ychwaneg o filwyr a grynhôdd o amgylch, megis yn dda ganddynt weled wyneb Claudius; gan farnu yn dra addas ei wneud yn ymerawdwr, o herwydd eu caredigrwydd at Germanicus,

§ Pa fodd y daeth Claudius, mab arall i Drusus, pa ryw Drusus ydoedd dad Germanicus, i gael ei alw yma ei alw yma ei hun Germanicus, Suetonius a hyspysa i ni; pan sicrha ddarfod trwy orchymmyn y senedd i'r ar-enw Germanicus, gael ei osod ar Drusus a'i hiliogaeth.

yr hwn oedd frawd iddo; ac a adawsai o'i ol y parch mwyaf gan bawb a'i hadwaenent. Adgoffasant hefyd dymmer gybyddlyd y rhai oedd yn blaenori yn y senedd, a'r fath gamsyniadau a fuasent yn euog o hono, pan oeddynt gynt yn meddu'r llywodraeth. Ystyriasant hefyd ammhossiblrwydd y fath orchwyl; ac hefyd y fath berygl a fyddent ynddo os denai 'r llywodraeth i ryw berson unigol, a'r na fyddai ganddynt hwy un llaw yn ei dderchafiad; yn lle Claudius, yr hwn a'i derbyniai megis eu rhodd hwynt, a'r hyn a gawsai o'u hewyllys da; a'r hwn a gofiai y ffafr a wnaed iddo, ac a wnai iddynt hwy dâl digonol am yr unrhyw.

Hyn oedd yr ymddiddanion a fuasai gan y milwyr y naill gyd â'r llall ar eu pennau eu hunain; a hwy a'u hamlygasant i bawb a ddenai i mewn attynt. Yn awr y rhai a holasant ynghylch y matter hwn, a gofleidiodd y gwahoddiad yn ewyllysgar i uno a'r lleill. Felly hwy a ddygasant Claudius ymaith i'r gwersyll, gan gau o'i amgylch megis gwarchawdlu, a'r naill gadeiriwr yn dilyn y llall, fel na rwystrid eu hawyddus ymdrechiadau. Ond am y werin bobl a'r seneddwyr yr oeddynt yn gwahaniaethu yn eu barnau; y rhai diweddaf oeddynt yn mawr ddymuno adferyd eu hawdurdod gynt; ac a oeddynt awyddus i ddiddymmu'r caethiwed a ddygasid arnynt trwy ddrwg drimaeth y gorthrymwyr, yr hyn yr oedd y cyfleustra presennol yn ei ganiattau iddynt. Ond y bobl ag oedd gynfigennus i'w herbyn, y rhai a wyddent fod yr ymerawdwyr yn alluog i ffrwyno eu tymmer gybyddlyd, ac yn noddfa rhagddynt, oeddynt dra chyssurus ddarfod cael gafael yn Claudius, a'i ddwyn attynt hwy: gan dybied os gwnaed ef yn ymerawdwr y rhagflaenai ryfel cartrefol, y cyfryw ag a fu yn nyddiau Pompey. Ond pan wybu y senedd ddarfod dwyn Claudius i'r gwerssyll gan y milwyr, danfonasant y rhai hynny atto o'u corph hwynt ag oedd â'r gair goreu iddynt am eu rhinwedd; fel yr hyspysent iddo, na ddylai wneuthur dim trwy drais mewn trefn i feddiannu'r llywodraeth: ond y dylai'r hwn oedd berson unigol, a'r hwn oedd eisoes, neu a fyddai rhagllaw yn aelod o'u corph hwynt, ymostwng i'r senedd ag oedd yn gynnwysedig o'r fath amlder o nifer: bod yn ddyledus arno adael i'r gyfraith gymmeryd lle, yn nhrefniad pob rhai a berthynent i sefyllfaoedd cyhoeddus; ac i gofio pa flinderau mawrion a ddygwyd gan orthrymwyr rhagflaenol ar y ddinas; a pha fath beryglon a ddarfu iddo ef, yn gystal â hwynt-hwy, ddiangc rhagddynt tan Caius: ac na ddylai ddirmygu trym-faich gorthrymder, pan wnelid y niweid gan eraill, tra byddai efe ei hun o'i wirfodd yn ymddwyn tu ag at ei wlad mewn modd trahaus a chreulon. Mai os cydsyniai â hwynt, a thystio ei gadarn ymroad i fyw yn llonydd ac yn rhinweddol, y byddai i'r anrhydedd mwyaf gael ei ddangos iddo ef, ag a allai pobl ryddion ei gyfrannu: a thrwy iddo ymostwng ei hun i'r cyfreithiau, yr ynnillai y gaingc hon o gymmeradwyaeth; sef ddarfod iddo ymddwyn megis dyn rhinweddol, yn gystal fel llywodraethwr ac fel deiliad. Ond os byddai iddo ymddwyn yn annoeth, ac na chymmerai ddim addysg oddiwrth farwolaeth Caius, na oddefent ef i fyned ym mlaen; fod rhan fawr o'r fyddin wedi eu cael ynghyd tanynt hwy, gyd â digonedd o arfau, a nifer mawr o gaeth-weision, y rhai a allent eu defnyddio megis yr ewyllysient. Fod gobaith da o ddefnydd mawr yn y fath achos, megis yr oedd ffortun dda hefyd: ac na chynnorthwyai'r duwiau neb eraill, ond y rhai a gymmerai arnynt weithredu gyd a rhinwedd a daioni: y rhai ni allent fod yn neb eraill ond a fyddai yn ewyllysgar i ymladd tros ryddid eu gwlad.

Yn awr, y cennadwyr hyn, * Veranius a Brocchus, y rhai oeddynt bob un yn dribuniaid, neu nawddwyr y bobl, a wnaethant yr araith yma wrth Claudius: a chan syrthio i lawr ar eu gliniau, deisyfasant na byddai iddo mewn un modd fwrw'r ddinas i 'stâd o ryfel ac annhrefn. Ond pan welsant y fath liaws o filwyr yn amgylchu ac yn gwylio Claudius; ac nad oedd y lluoedd a ymgasglasai at y penswyddogion i'w cydmarn â hwynt: chwanegasant, os oedd efe yn ewyllysio'r llywodraeth, ar iddo wneuthur derbyniad o honi, megis wedi ei chaniattau gan y senedd: oblegid y byddai iddo lwyddo yn well, a bod yn ddedwyddach, os denai iddi nid trwy anghyfiawnder, ond gyd

* Enwau y ddau genhadon yma a ddanfonwyd at Claudius, gan y senedd, sydd yn eisiau yn hanesion Suetonius a Dio: ond gallai Josephus eu cael yn hawdd gan Aggrippa ieuangaf, â'r hwn yr ydoedd yn gyfeillgar.

ag ewyllys da y rhai a'i trefnai iddo.

## PENNOD IV.

*Claudius yn dyfod i feddiant o'r mawredd ymerodraethol; ac yn gorchymmyn lladd llofruddwyr Caius.*

CLAUDIUS a syniodd gyd â pha drohausder yr anfonasai y senedd atto; etto darfu iddo, yn ol eu cyngor hwynt, ymddwyn ei hun yn gymhedrol tros yr amser presennol: etto nid cyn belled na allai adferyd ei hun allan o'i ddychryn. Felly efe a annogwyd i gleimio'r llywodraeth; mewn rhan trwy hyfdra'r milwriaid, ac mewn rhan arall trwy annogaeth y brenin Agrippa; yr hwn a'i cynghorodd na adawai i'r fath arglwyddiaeth lithro allan o'i ddwylaw, wedi ei dyfod y modd hwn atto o hono ei hun. Yn awr yr Agrippa hwn, gyd â pherthynas i Caius, a wnaeth yr hyn oedd yn gweddu i un a anrhydeddasid mor fawr ganddo. Canys efe a goffeidiodd gorph Caius yn ol ei farw ef, ac a'i gosododd ar wely, gan ei orchuddio yn oreu ag y gallai; ac efe a aeth allan at y gwarchawdlu, ac a ddywedodd wrthynt fod Caius etto yn fyw: ond a ddywedodd hefyd fod yn rhaid iddynt alw am feddygon, gan ei fod yn dra chlwyfus oblegid ei archollion. Ond wedi gwybod o hono ddarfod dwyn Claudius ymaith trwy drais gan y milwyr, efe a ruthrodd trwy'r dorf atto ef; ac wedi ei gael yn derfysglyd, ac yn barod i roddi'r llywodraeth i fynu i'r senedd, efe a'i cefnogodd ef, ac a ddymunodd arno gadw'r llywodraeth. Ond wedi iddo ddywedyd hyn wrth Claudius, efe a aeth i'w gartref. Ac ar anfoniad y senedd am dano, efe a eneinniodd ei ben ag olew, fel pe buasai'n ddiweddar ynghwmp'ni ei wraig; ac wedi ei danfon ymaith, ddyfod o hono yn ol hynny attynt hwy. Efe a ofynodd hefyd i'r seneddwyr, pa beth a wnaethai Claudius? y rhai a fynegasant iddo am amgylchiad presennol yr achos cyffredin: ac yna gofynasant iddo ef ei feddyliau ynghylch ei sefydliad. Dywedodd wrthynt ei fod ef yn barod i golli ei fywyd tros anrhydedd y senedd; ond a ddymunodd arnynt ystyried yr hyn a fyddai er eu mantais, heb ofalu cymmaint am y peth a fyddai gyttûn â'u teimladau. Oblegid y bydd i'r rhai a afaelant yn y llywodraeth, sefyll mewn diffyg o arfau, a milwyr i'w gwylio hwynt: oddieithr iddynt osod i fynu heb ymbarottôad i hynny, ac felly syrthio i berygl. A phan attebodd y senedd, y dygent hwy ynghyd arfau yn ddigonol, ac y casglent arian: ac ymherthynas ifyddin o filwyr, rhan o honi eisoes a grynhöwyd ynghyd ar eu cyfrif hwynt; a hwy a gyfodent nifer mwy helaeth wrth roddi eu rhyddid i'r caeth-weision. Agrippa a attebodd, "O seneddwyr! bydded i chwi fod yn alluog i gwblhau eich amcanion: etto myfi yn ebrwydd a ddywedaf i chwi fy meddyliau, o herwydd eu tueddrwydd i'ch diogelu chwi. Daliwch sulw, gan hynny, fod y fyddin a ymladd tros Claudius, wedi hir ymarfer âg achosion rhyfel: ond ein byddin ni a fydd yn ddim amgen nâ lliaws o ddynion anfedrus ac anllywodraethus, wedi eu rhyddhau yn annisgwyliadwy o gaethiwed. Yna rhaid i ni ymladd â rhai cyfarwydd mewn rhyfel, gyd â dynion na wyddant pa fodd i dynnu eu cleddyfau allan. Felly fy marn i ydyw, ar fod i ni ddanfon rhyw bersonau at Claudius, i'w berswadio i osod i lawr y llywodraeth: ac yr wyf fi yn barod i fod yn un o draddodwyr eich cennadwriaeth."

Wedi llefaru yr araith hon gan Agrippa, y senedd a gydsyniasant âg ef. Ac efe ym mysg eraill a ddanfonwyd; yr hwn yn ddirgel a hyspysodd i Claudius y cythrwfl yr oedd y senedd ynddo; ac a roddodd iddo hyfforddiad i'w hatteb hwynt mewn gradd o ddull gorchymmynedig; ac megis un yn meddiannu uchafiaeth ac awdurdod. Yn ganlynol, Claudius a ddywedodd wrth y cennadwyr, nad oedd yn rhyfeddu difatterwch y senedd am gael ymerawdwr yn ben arnynt; o herwydd eu blino gan farbariaeth y rhai a fuasai o'r blaen yn olygwyr eu matterion, ond y caent brofi uniondeb llywodraeth tano ef, ac amserau o gymmedroldeb, pan na byddai efe yn unig ond eu llywydd mewn enw; ond yr awdurdod a fyddai yn gydradd gyffredin rhyngddynt oll. Ac fel yr oedd efe wedi bwrw heibio amryw gyfnewidiau mewn bywyd o flaen eu llygaid, byddai hawdd iddynt beidio anhyderu ynddo. Felly y cennadwyr wedi cael yr atteb hwn, a ollyngwyd ymaith. Ond Claudius a ymddiddanodd â'r fyddin ag oedd yno wedi ymgynnull ynghyd, y rhai a wnaethant lwon o barhad yn eu ffyddlondeb tu ag atto ef. Ar yr hyn y rhoddodd i'r gwarchawdlu,

ac i bob un o honynt, † bum mil drachmæ, a swm gyfattebol i'w cadbeniaid, gan addaw y cyffelyb roddion i eraill o'r byddinoedd pa le bynnag yr oeddynt.

Ac yn awr, y prif-swyddogion a alwasant y senedd ynghyd i deml Jupiter y concwerwr, tra yr oedd etto yn nos. Ond rhai o'r seneddwyr a ymguddiasant eu hunain yn y ddinas, heb wybod yn sicr pa beth i'w wneuthur, wedi derbyn y wŷs hon: a rhai o honynt a aethant allan o'r ddinas i'w tŷau yn y wlad, megis yn rhagweled i ba le'r oedd yr achosion gwladol yn gogwyddo; a chan anobeithio am ryddid: ïe, y rhai hyn a ddychymmygasant yn llawer gwell iddynt fod yn gaethion, heb berygl iddynt eu hunain, ac arwain bywyd segur a diddefnydd, na thrwy gleimio uchel-fraint eu hynafiaid, i beryglu eu diogelwch eu hunain. Pa fodd bynnag ynghylch cant, dim rhagor, a ddaethent ynghyd. Ac fel yr oeddynt yn cydymgynghori ynghylch sefyllfa bresennol yr achos cyhoeddus, gwaedd ddisymmwth a wnaethpwyd gan y milwyr ag ydoedd o'u tu hwynt; yn dymuno ar i'r senedd ddewis iddynt ymerawdwr; a pheidio a dwyn dinystr ar y llywodraeth trwy osod i fynu amlder o lywodraethwyr. Felly hwy a dystiasant yn gyhoeddus eu bod am roddi'r llywodraeth, nid i lawer, ond i un; eithr hwy a roesant gennad i'r senedd i olygu rhyw un a fyddai deilwng o gael ei osod yn ben arnynt: yn gymmaint a bod achosion y senedd yn awr yn waeth nag o'r blaen; o herwydd eu bod nid yn unig wedi methu yn adferiad eu rhyddid, o'r hwn yr oeddynt yn ymffrostio, ond a oeddynt yn ofni Claudius hefyd. Etto'r ydoedd rhai ag oedd yn trachwantu'r llywodraeth; yn gystal ar gyfrif uchelradd eu teuluoedd, a'r hyn ag oedd yn deilliaw iddynt trwy briodasau. Canys Marcus Minucianus oedd wr godidog, yn gystal o blegid ardderchogrwydd ei raddau, ac o herwydd ei briodas â Julia, chwaer Caius; yr hwn yn ganlynol oedd dra pharod i honni'r llywodraeth; er darfod i'r prif-swyddogion ei wrthwynebu, gan wneud y naill oediad ar ol y llall ynghylch ei threfniad. Darfu i Minucianus hefyd, yr hwn oedd un o lofruddwyr Caius, attal Valerius, o Asia, rhag meddwl am y cyfryw beth. A lladdfa fawr a wnaethid pe rhoisid cennad i'r gwŷr hyn i osod i fynu trostynt eu hunain, ac i wrthwynebu Claudius. Yr ydoedd heblaw hynny nifer mawr o gleddyfwyr ac o'r milwyr a gadwent wyliadwriaeth y nos yn y ddinas, ynghyd â rhwyfwyr llongau, y y rhai oll a redasant at y gwersyll. Yn gymmaint ag y darfu y rhai a osodent i mewn eu hawl i'r llywodraeth adael heibio eu dadl ymherthynas iddi er mwyn achub y ddinas; ac eraill oddiar ofn am eu personau eu hunain.

Ond cyn gynted ag yr aeth yn ddydd, Cherea a'r rhai oedd gyd ag ef a ddaethant i'r senedd, ac a geisiasant areithio wrth y milwyr. Pa fodd bynnag lliaws y milwyr, pan welsant hwy yn gwneuthur arwydd â'u dwylaw am ddistawrwydd, a'u bod yn barod i lefaru wrthynt, hwy a derfysgasant, ac ni adawent iddynt ddywedyd dim oll, o herwydd eu chwennychiad i fod tan unben lywodraeth. A hwy a ofynasant gan y milwyr un yn llywodraethwr iddynt; megis heb allu goddef ychwaneg o oediad. Ond y senedd oedd yn pettruso ymherthynas i lywodraethu eu hunain, neu pa fodd i gael eu llywodraethu gan eraill. Eithr y milwyr ni fynnent eu llywodraeth hwynt; ac ni adawai llofruddwyr Caius i'r milwyr bennodi neb iddynt. Pan oeddynt yn yr amgylchiadau hyn, ni allai Cherea gynnwys y digter yr oedd ynddo, ac a addawodd os oeddynt yn ewyllysio cael ymerawdwr, y rhoddai efe un iddynt, os dygai neb iddo y gwyl-air oddiwrth Eutychus. Yn awr yr Eutychus hwn ydoedd gerbydwr i ymblaid y fyddin wyrdd, a elwid Prasine, a chyfaill mawr i Caius; yr hwn a arferai flino'r milwyr ag adeiladu tai i'r meirch; ac a dreuliai ei amser ynghylch gorchwylion diles. Hyn a fu'n achlysur i Cherea eu gwaradwyddo ag ef, a'u hamherchi â llawer o ymadroddion serthedd eraill: a dywedodd y dygai efe iddynt ben Claudius. A'i fod yn beth rhyfedd ar ol eu gwallgofrwydd o'r blaen, iddynt ymddiried eu llywodraeth i ynfyd. Etto ni chynhyrfwyd hwynt â'i eiriau; ond hwy a dynasant eu cleddyfau, a chodasant i fynu eu bannerau, ac a

† Y rhifedi hwn o drachmæ i'w dosparthu rhwng pob milwr neillduol, ag sy'n cyfatteb i gylch 161 l. o arian Lloegr, a ymddengys yn rhy helaeth; ac sydd yn gymmwys yn gwrthddywedyd Suetonius. yr hwn a'u gwna'n unig yn 2s. 4d. i bob un. Etto gallai Josephus gael y nifer yma oddi wrth Agrippa, yr ieuangaf, er ammeu o honof fod y miloedd, neu o'r hyn lleiaf y cannoedd, wedi cael eu chwanegu trwy gamgymmeriad y copiwyr; o'r hyn y cawsom fynych siampl eisoes yn Josephus.

aethant at Claudius, i ymuno yn eu llwon o ffyddlondeb iddo ef. Felly y senedd a adawyd heb neb i'w hamddiffyn; a'r prif-swyddogion ni wahaniaethid oddiwrth ddynion cyffredin. Yr oeddynt hefyd tan ddychryn a thristwch, fel dynion heb wybod pa beth a ddeuai o honynt, o herwydd fod Claudius yn ddig wrthynt. Felly hwy a ddechreuasant y naill waradwyddo y llall, gan edifarhau am yr hyn a wnaethent. Ar ba amser Sabinus, un o lofruddwyr Caius, a fygythiodd y deuai yn gynt i'w canol gan ei ladd ei hun, nag y cydsyniai i wneuthur Claudius yn ymerawdwr, ac i edrych ar gaethiwed yn dychwelyd i'w mysg hwynt. Efe hefyd a feiodd ar Cherea am fod yn caru ei fywyd yn ormodol; tra'r oedd efe, yr hwn gyntaf a osodasai ddirmyg ar Caius, yn dychymmygu yn ddedwyddwch i fyw, ïe, wedi'r hyn oll a wnaethent er adferiad eu rhyddid, yn ei brofi'n ammhossibl ei gyrhaeddyd. Cherea a attebodd nad oedd ganddo unrhyw amheuaeth ynghylch ei ladd ei hun; ond y mynnai yn gyntaf fod yn sicr o fwriadau Claudius cyn y gwnai hynny.

Dyma oedd y dadleuon ynghylch y senedd: ond yn y gwersyll pawb a ymwasgent ym mlaen, i fyned i ddangos eu parchedigaeth i Claudius. A'r prif-swyddog arall, Quintus Pomponius, a waradwyddwyd gan y milwyr, megis un yn hytrach a annogasai y senedd i adferyd eu rhyddid hynafiaethol. Ar yr hyn y tynnasant allan eu cleddyfau i fyned i'w ladd ef; yr hyn hefyd a wnaethent, pe na buasai i Claudius gippio y prif-swyddog allan o'r perygl yr oedd ynddo, a'i osod wrth ei ochr ei hun. Ni ddarfu iddo, pa fodd bynnag, wneuthur derbyniad o'r rhan arall o'r senedd ag oedd gyd â Quintus yn yr un ddull anrhydeddus ag ef: ond rhai o honynt a gawsant ergydion, ac a wthiwyd ymaith megis ag y daethant i gyfarch Claudius. Ië, Aponius a aeth ymaith yn archolledig; ac yr oeddynt hwy oll mewn perygl. Pa fodd bynnag y brenin Agrippa a aeth i fynu at Claudius, ac a ddymunodd arno ymddwyn yn fwy tyner tu ag at y senedd, oblegid os digwyddai rhyw niweid iddynt hwy, ni fyddai ganddo neb i lywodraethu arnynt. Claudius a gydsyniodd ag ef, ac a alwodd y senedd ynghyd i'r palas; ac efe a ddygwyd mewn cadair yno ei hun trwy'r ddinas, tra'r oedd y milwyr yn myned o'i flaen, er mawr anfoddlonrwydd i'r lliaws: canys Cherea a Sabinus, dau o lofruddwyr Caius, a aethant o'u blaenau mewn modd amlwg; pan ydoedd Pollio, yr hwn a wnaethai Claudius ychydig o'r blaen yn gadben ei warchawdlu, wedi ysgrifennu epistol attynt, i wahardd iddynt ymddangos yn gyhoeddus. Yna y darfu i Claudius, ar ei ddyfodiad i mewn i'r palas, alw ei gyfeillion ynghyd; ac a ddeisyfodd eu barn hwynt ynghylch Cherea. Dywedasant fod yr hyn a wnaethai yn waith clodfawr: ond hwy a gyhuddasant yr hwn a'i gwnaethai o fradwriaeth; ac a farnasant yn gyfiawn osod cospedigaeth arno, i ddigalonnogi'r fath weithred yn yr amser i ddyfod. Felly Cherea a arweiniwyd i ddihenyddiad; ynghyd â Lupus, ac amryw eraill o Rufeiniaid gyd â hwynt. Yn awr fe ddywedir ddarfod i Cherea fyned i ddioddef gyd â chefnogrwydd; a hynny nid yn unig trwy ei gadarn ymddygiad tan ei gystudd ei hun, ond trwy y gwaradwyddiad a fwriodd ar Lupus, yr hwn a gwympodd i dywallt dagrau. Canys wedi iddo ddiosg ei wisg, ac achwyn ar yr * oerfel, dywedodd Cherea nad oedd yr oerfel fyth yn niweidiol i † Lupus. Ac fel yr oedd llawer o ddynion yn myned gyd â hwynt i weled yr olwg; pan ddaeth Cherea i'r lle o ddihenyddiad, efe a ofynodd i'r milwr ag oedd i fod yn ddihenyddwr arnynt, pa un a ydoedd ei swydd bresennol yn un a ymarferasai â hi? neu pa un ai dyna y tro cyntaf iddo arfer ei gleddyf yn y modd hwnnw: ac efe a ddymunodd arno ddwyn iddo y cleddyf â pha un y darfuasai iddo ei hun ladd Caius. Felly digwyddodd ei ladd ef ag un ergyd. Ond ni chafodd Lupus y fath hwylusdod i fyned allan o'r byd, gan ei fod yn ofnus, a chyfeirio amryw ergydion at ei wddf, o herwydd na ymestynasai yn hy megis ag y dylasai wneuthur.

Ychydig ddyddiau ar ol hyn, fel ag yr oedd y gwyliau tadol gerllaw, y lliaws Rhufeiniaid a wnaethant eu hoffrymmau arferedig i'w hamrywiol ysprydion; gan ddodi cyfran yn tân, yn anrhydedd i Cherea: ac a erfynasant arno fod

* Yr oerfel llym yma a achwynid arno gan Lupus, sydd yn cyttuno yn dda â'r amser o'r flwyddyn yn yr hwn y dechreuodd Claudius deyrnasu; fel ag yr ydoedd yn sicr ynghylch mis Tachwedd, Rhagfyr, neu Ionawr; ac yn fwyaf tebygol ar ol Ionawr 24.

† I Flaidd.

yn faddeugar wrthynt, ac na pharhâi yn ei ddigter tu ag attynt oblegid eu hanniolchgarwch. A dyma oedd y diwedd bywyd a ddaeth Cherea iddo. Ond am Sabinus, er i Claudius nid yn unig ei ryddhau ef, ond a ganiattaodd iddo gadw ei le blaenorol yn y fyddin; etto efe farnodd fod yn anghyfiawn iddo aros yn fyr o gyflawni ei rwymedigaethau i'w gydfwriadwyr gynt: felly efe a syrthiodd ar ei gleddyf ac a laddodd ei hun; a'r archoll yn cyrraedd i fynu hyd at garn y cleddyf. ‡

## PENNOD V.

*Am haelioni Claudius tu ag at frenin Agrippa; a'i gyhoeddiad o orchymmyn perthynol i'r Iuddewon.*

YN awr, wedi i Claudius gymmeryd oddiar y ffordd yr holl filwyr hynny yr oedd yn eu drwg-dybio, efe a osododd allan orchymmyn: a thrwy hwnnw fe gadarnhaodd y deyrnas honno i Agrippa, pa un a roddasai Caius iddo, gan gymmeradwyo'r brenin yn fawr. Gwnaeth hefyd chwanegiad atti, o'r holl daleithau ag oedd Herod, ei daid ef, yn teyrnasu arnynt, hynny yw Judea a Samaria; a hyn a adferodd iddo fel etifeddiaeth ddyledus ei deulu. Ond am § Abila Lysanias, a'r hyn oll a orweddai yn mynydd Libanus, rhoddodd y rhai hynny iddo megis o'i diriogaeth ei hun. Gwnaeth hefyd gyngrair â'r Agrippa hwn, wedi ei gadarnhau trwy lŵ ynghanol y fforum, yn ninas Rufain. Yna y cymmerodd ymaith oddiar Antiochus y deyrnas ag oedd yn feddiannol o honi; ond a roddodd iddo ryw gyfran o Cilicia, ac Ommagne yn ei lle. Efe hefyd a osododd Alexander Lycimachus yr alabarc yn rhydd, yr hwn a fuasai yn hen gyfaill iddo, ac yn oruchwyliwr i'w fam Antonia, ond a garcharasid gan Caius: mab yr hon, sef, Marcus, a briodasai Bernice, merch Agrippa. Ond wedi i Marcus, mab Alexander farw, yr hwn a'i priodasai hi pan oedd yn wyryf, Agrippa a'i rhoddodd yn briodas-wraig i'w frawd Herod; ac a ddymunodd gael iddo ef gan Claudius deyrnas Chalcis.

Ynghylch y pryd hwn y digwyddodd ymryson rhwng yr Iuddewon a'r Groegiaid, yn ninas Alexandria. Canys wedi marw Caius cenedl yr Iuddewon, y rhai a flinwyd yn awr tan ei deyrnasiad ef, ac a gyfyngwyd arnynt gan bobl Alexandria, a adferasant eu hunain; ac yn uniongyrch a gymmerasant i fynu eu harfau er mwyn hunan amddiffyniad. Felly Claudius a ddanfonodd orchymmyn at Raglaw yr Aipht i ostegu y cythrwfl hwnnw. Danfonodd hefyd orchymmyn, ar ddymuniad y brenin Agrippa, a'r brenin Herod, i Alexandria a Syria; cynnwysiad pa un oedd fel y canlyn: " Tiberius Claudius Cæsar, Augustus, Germanicus, archoffeiriad, a noddwr y bobl, sydd yn gorchymmyn y modd hwn. Gan fy sierhau fod yr Iuddewon o Alexandria, yn gyd-breswylwyr, er amseroedd boreuol, ag eraill o'r Alexandriaid, a mwynhau o honynt gan eu brenhinoedd ragorfreintiau cydradd â hwynt, fel y mae'n amlwg oddiwrth y coffadwriaethau cyhoeddus sydd yn eu meddiant, a'r gorchymmynion eu hunain: ac mai wedi i Alexandria gael eu darostwng i'n hymerodraeth ni gan Augustus, eu hawl a'u rhagfreintiau a gadwyd iddynt gan y rhaglawiaid a ddanfonwyd yno ar amrywiol amserau; ac na chyfodwyd dim dadl ynghylch yr hawl a'r rhagorfreintiau, ie, pan oedd Aquila yn llywydd Alexandria. A phan fu farw yr ethnarc Iuddewig, ni waharddodd Augustus wneuthur y cyffelyb ethnarciaid drachefn; gan ewyllysio i bawb a fyddo'n ddeiliaid i'r Rhufeiniaid, barhau i arfer eu defodau eu hunain a pheidio gwneuthur iddynt droseddu yn erbyn rheolau eu crefydd eu hun: er darfod yn amser Caius i'r Alexandriaid fyned yn drahaus tu ag at yr Iuddewon ag oedd yn eu mysg hwynt; yr hwn Caius o herwydd ei ryfyg mawr, a'i ddiffyg o ddealldwriaeth

‡ Y mae'n beth i nodi yn fawr arno yn y lle hwn, ac mewn mannau eraill, fod llofruddwyr y gorthrymwyr gwaethaf, y rhai yn gyfiawn a haeddasant farw, pan fyddent tan lwon, neu rwymedigaethau eraill o ffyddlondeb iddynt, yn gyffredin yn cael dial arnynt: a'r llofruddwyr a dorrid ymaith eu hunain, mewn modd tra hynod; a hyn ar amserau megis yn yr achos presennol, gan y personau hynny nad oeddynt yn gofidio oblegid y cyfryw lofruddiad, ond a gawsant feddiannu teyrnosoedd trwyddynt. Y mae'r siamplau o hyn yn dra lliosog, mewn hanesion cyssegredig a phaganaidd; ac sydd yn ymddangos yn arwyddion o ddialedd dwyfol yn gyffredin ar y fath lofruddwyr. Ac nid yw yn annheilwng o sulw. fod y fath lofruddion yn cyflawni eu herchyll-waith oddiar y cyfryw ddrwg egwyddor, ac yn y fath fodd creulon, gan fod mor barod i ddwyn dinystr ar y rhai diniweid yn gystal a'r euog, megis yr oedd yn yr amgylchiad hwn, Pen. 1 a'r 2. a'u bod yn cyfiawn haeddu dwyfol ddialedd i ddisgyn arnynt.

§ Yma mewn rhyw fesur y cadarnheir St. Luc, pan y mae'n hyspysu, pen. iii. 1. fod Lysanias, ryw amser yn ol yn detrarch Abilene, prif-ddinas pa un oedd Abila. Yr hyn ymhellach a gadarnheir gan Ptolemy, y prif ddaear-ddarluniwr, yr hyn y mae Spanheim yma yn sylwi arno, pan y mae'n galw y ddinas honno Abila Lysanias. Gwel y nod ar XVII. 11. Yr wyf yn cyfrif y dywysogaeth hon megis yn perthynu yn yr amserau gynt i wlad Canaan: yn y lle ag y claddwyd Abel ynddo; ac a gyfeirir atto megis y cyfryw, Math. xxiii. 11. Luc xi. 51. Gwel Authent. Rec. Rhan II. t. d. 883----885.

a ddarostyngodd genedl yr Iuddewon yn dra isel, o herwydd na throseddent yn erbyn addoliad crefyddol eu gwlad, gan ei alw ef yn dduw. Ewyllysiaf gan hynny na fyddo i genedl yr Iuddewon gael eu hymddifadu o'u hawl a'u rhagorfreintiau, o herwydd gwallgofrwydd Caius; ond bod i'w hawl a'u rhagorfreintiau hynny ag oeddynt gynt yn eu mwynhau gael eu cadw iddynt, a pharhau o honynt i arfer eu defodau eu hunain. Ac yr wyf yn gorchymmyn i bob plaid i gymmeryd mawr ofal, na chyfoder dim blinderau ar ol cyhoeddi y gorchymmyn hwn."

Y cyfryw ydoedd gynhwysiad y gorchymmyn uchod ymherthynas i'r Iuddewon, a ddanfonwyd i Alexandria: ond y gorchymmyn a ddanfonwyd i barthau eraill y ddaear gyfanneddol ydoedd yr hyn a ganlyn: "Tiberius Claudius Cæsar, Augustus, Germanicus, archoffeiriad, a noddwr y bobl, dewisedig brif-swyddog yr * ail waith, yn gorchymmyn y modd hwn. Ar ddeisyfiad y brenin Agrippa, a'r brenin Herod, y rhai ydynt bersonau tra charedig gennyf fi, am ganiattau o honwyf i'r un hawl a rhagorfraint gael eu cynnal i'r Iuddewon trwy'r holl ymerodraeth Rufeinaidd, ag a ganiatteais i'r rhai hynny yn Alexandria. Yr wyf yn dra ewyllysgar yn cydsynio â'r unrhyw; a'r caniattâd hwn yr wyf yn ei wneuthur nid yn unig er mwyn y deisyfwyr, ond gan farnu'r Iuddewon hynny tros ba rai y gwnaethpwyd y deisyfiad attaf yn deilwng o'r fath ffafr, ar gyfrif eu ffyddlondeb a'u caredigrwydd i'r Rhufeiniaid. Yr wyf yn ei gyfrif hefyd yn drachyfiawn, na byddo i un ddinas Roegaidd gael ei difuddio o'r cyfryw hawl a rhagorfreintiau, gan eu bod yn cael eu cynnal iddynt tan y mawr Augustus. Bydd yn addas gan hynny ganiattau i'r Iuddewon, y rhai sydd trwy'r holl fyd tanom ni, i gynnal eu defodau hynafol, heb ddim gwrthwynebiad i wneuthur felly. Ac yr wyf hefyd yn erchi iddynt arfer fy ewyllys da hwn yn gymhedrol: a pheidio dangos eu dirmyg a'r ymarferiadau coel-grefyddol cenhedloedd eraill, ond i ofalu tros eu cyfreithiau eu hunain yn unig. A'm hewyllys ydyw, fod i'r gorchymmyn hwn o'r eiddof gael ei argraphu ar fyrddau gan swyddogion y dinasoedd a'r taleithiau, a'r lleoedd brenhinol; yn gystal y rhai o fewn Italy, a'r rhai oddiallan iddi, brenhinoedd a llywodraethwyr, trwy'r moddion o'u cennadwyr; a gwnend arddangosiad o honynt i'r cyffredin tros gyflawn ddeng niwrnod ar hugain, yn y cyfryw leoedd ag y gellir eu darllen yn eglur oddiar y llawr.

* B. A. 42.

† Josephus a ddengys yma, ac yn pen. 7, fod ganddo fwy tyb am frenin Agrippa I. na chan Simon y Rabbi dysgedig; na chan pobl Cæsarea, neu Sebaste, pen. 7; nac yn wir yr oedd ei fasnach ddeublyg rhwng y senedd a Chlaudius, pen. 4; neu ei waith yn lladd Iago brawd Ioan, ac yn carcharu Pedr; nac hefyd ei ymddygiad wag-ogoneddgar cyn ei farwolaeth yn Act. xii. 1--3. ac yma XIX. 4. yn ei gyfiawnhau neu ganiattau. Hanes Josephus am dano ysgatfydd a gymerasid gan ei fab, Agrippa, yr ieuangaf.

## PENNOD VI.

*Am ymddygiad Agrippa yn ei ddychweliad i Judea; ac am yr epistol a ysgrifenodd Petronius at breswylwyr Doris, ar gyfrif yr Iuddewon.*

YN awr Claudius Cæsar a wnaeth yn hyspys trwy'r deddfau a ddanfonodd i Alexandria, ac i'r holl wledydd cyfanneddol tan ei lywodraeth, pa feddyliau oedd ganddo am yr Iuddewon. Felly efe a ddanfonodd Agrippa ymaith i gymmeryd meddiant o'i deyrnas, wedi ei dderchafu yn awr i uwch mawredd nag o'r blaen: ac a ddanfonodd lythyrau at y rhaglawiaid a barnwyr y taleithiau, a'r fod iddynt ymddwyn yn garuaidd tu ag atto. Yn ganlynol efe a ddychwelodd gyd â brys, ac a ddaeth i Jerusalem, lle'r offrymmodd yr holl aberthau oedd berthynol iddo, heb adael † dim yn ol ag oedd y gyfraith yn ei ofyn. Ar ba gyfrif efe a orchymmynodd fod i lawer o'r Nazareaid gneifio eu pennau. Ac am y gadwyn aur, yr hon a ‡ roddasid iddo gan Caius, o gydbwys a'r gadwyn haiarn â'r hon y rhwymasid ei ddwylaw gynt, efe a'i crogodd i fynu o fewn i'r deml, uwch ben § y drysorfa: fel y byddai yn goffadwriaeth o'r driniaeth chwerw a fuasai tani, a thystiolaeth o'i newidiad er gwell: fel y byddai yn ddangosiad y modd y dichon y llwyddiant mwyaf gael cwymp; a bod Duw ar brydiau yn cyfodi i fynu yr hyn a syrthiodd i iselder. Canys y gadwyn yma wedi ei chyssegru y modd hwn, oedd yn rhoddi addysg i bawb, ddarfod unwaith rwymo y brenin Agrippa mewn cadwyn am achos bychan; ond iddo gael ei adferyd i'w

‡ Gwel Llyfr xviii. pen. 6.

§ Yr ystafell drysorfa hon a ymddengys ei bod yr un â'r hon yr athrawiaethai einHiachawdwr ynddi, a'r lle'r offrymmai y bobl eu rhoddion tu ag at adgyweiriad y deml, neu ryw achosion eraill ynddi. Marc xii. 41, &c. Luc xxi. 1. Ioan viii. 20.

fawredd o'r blaen, ac ychydig ar ol hynny ddyfod allan o'i rwymau, a'i dderchafu i fod yn frenin mwy anrhydeddus na chynt. Oddiwrth yr hyn y dichon dynion ddeall, y gall pawb ag sy'n gyfrannog o'r natur ddynol, pa mor fawr bynnag a fyddont, syrthio: ac y dichon y rhai a syrthiant ail-ynnill eu sefyllfa o ddyrchafiad drachefn.

Wedi i Agrippa gwbl orphen ei ddyledswyddau o grefyddol addoliad, efe a symmudodd Theophilus, mab Ananus, o'r archoffeiriadaeth, ac a roddodd yr anrhydedd hwnnw i Simon, mab Boethus, enw pa un hefyd oedd Cantheras, merch yr hwn a briodasai y brenin Herod, * fel y crybwyllais eisoes. Simon gan hynny a gafodd yr archoffeiriadaeth, gyd â'i frodyr, a'i dad; yn y cyffelyb fodd â thri meibion Simon, mab Onias, y rhai a'i cawsai gynt tan lywodraethiad y Macedoniaid, fel yr adroddasom mewn llyfr o'r blaen. †

Wedi i'r brenin sefydlu'r archoffeiriadaeth yn y modd hwn, efe a ddychwelodd y caredigrwydd a ddangosasai trigolion Jerusalem iddo: canys fe'u rhyddhaodd oddiwrth y trethoedd ar dai; pob un o ba rai a'u talasent hwy o'r blaen: gan ei farnu yn beth cymmwys i dalu yn ol yr ewyllys da a ddangosasid tu ag atto. Efe hefyd a wnaeth Silas yn flaenor ei fyddinoedd, megis un a fuasai gyfrannog ag ef o amryw drallodion. Ond yn ol ychydig bach o amser, wedi i wŷr ieuaingc Doris wneuthur dewisiad o weithred fyrbwyll yn lle bod yn grefyddol, a chan eu bod o naturiaeth yn hŷ ac yn drahaus, hwy a ddygasant ddelw Cæsar i mewn i synagog yr Iuddewon, ac a'i gosodasant i fynu yno. Y rhyfyg hwn a fawr gythruddodd Agrippa: canys yr ydoedd yn amlwg yn tueddu i ddadymchwelyd cyfreithiau ei deyrnas. Felly efe a ddaeth yn ddiattreg at Publius Petronius, yr hwn oedd y pryd hynny yn rhaglaw Syria, gan achwyn ar bobl Doris. Ac ni ddigiodd efe yn llai wrth yr hyn a wnaethid nag Agrippa; canys efe a'i barnodd yn ddaru o ddidduwiaeth i droseddu cyfreithiau ag oedd yn llywodraethu gweithredoedd dynion. Felly fe 'sgrifenodd y llythyr canlynol at bobl Doris mewn dull digofus.

"Publius Petronius, y rhaglaw, tan Tiberius Claudius Cæsar, Augustus, Germanicus, at swyddogion Doris, sy'n gorchymmyn megis ag y canlyn. Gan ddarfod i rai o honoch feddu y fath hyfdra, neu'n hytrach y gwallgof, wedi i orchymmyn Claudius Cæsar gael ei gyhoeddi, er caniattau i'r Iuddewon fyw yn ol cyfreithiau eu gwlad, i beidio ag ufuddhau i'r unrhyw, ond gwneuthur yn hollol groes iddo: megis trwy wahardd i'r Iuddewon ymgynnull ynghyd yn eu synagog, a symmud delw Cæsar, a'i gosod i fynu yno: a thrwy hynny a dramgwyddasoch nid yn unig yr Iuddewon, ond a droseddasoch yn erbyn yr ymerawdwr hefyd: delw pa un sydd fwy cyfleus i fod yn sefyll yn ei deml ei hun, nag mewn tŷ dieithrol, lle y mae casgliad pobl ynghyd: pan nad yw ond rhan o gyfiawnder naturiol, fod i bawb feddiannu awdurdod ar y lleoedd perthynol iddynt eu hunain, yn gyttunol â phenderfyniad Cæsar. Heb ddywedyd dim am fy marn fy hun, yr hyn a fyddai yn ynfydrwydd ei grybwyll ar ol gorchymmyn yr ymerawdwr; yr hwn sy'n caniattau rhyddid i'r Iuddewon i arferyd eu defodau eu hunain: ac sydd hefyd yn gorchymmyn fod iddynt fwynhau hawl dinasyddion yn gydradd â'r Groegiaid eu hunain. Yr wyf gan hynny yn gorchymmyn, fod i Proculus Vettelius, y canwriad, ddwyn y dynion hynny attaf fi, y rhai yn wrthwyneb i orchymmyn Augustus, a fuont mor drahaus a gwneuthur hyn: wrth ba rybudd y gwŷr hyn a ymddangosent eu bod yn fwyaf parchus yn eu mysg, a ddigiasant hefyd; ac a ddadleuasant trostynt eu hunain, na wnaethpwyd y peth gyd â'u cydsyniad hwynt, ond trwy drais y dyrfa; fel y rhoddont gyfrif am yr hyn a wnaethpwyd. Yr wyf hefyd yn cynghori y prif-swyddogion yn eu mysg, fel na chyfrifer ddarfod gwneuthur y ddrwgweithred hon yn unol â'u cydsyniad hwy, i hyspysu i'r canwriad am y rhai oeddynt yn euog o honi: a chymmeryd o honynt ofal na byddo hyn yn un achlysur o gyfodi terfysg yn eu mysg; yr hyn a ymddengys i mi fod y rhai a annogant y fath afreolaeth yn ei geisio: pan nad oes gennyf fy hun, ynghyd â'r brenin Agaippa, i'r hwn y mae gennyf y parch mwyaf, un peth yn fwy tan ein gofal, ag na byddo i genedl yr Iuddewon gael dim achlysur wedi ei roddi iddynt o ymgasglu ynghyd tan esgus o

* Llyfr xv. pen. 9. † Llyfr xii. pen. 6.

amddiffyn eu hunain, a myned yn derfysglyd.

Ac fel y gwyper yn fwy cyhoedd yr hyn a benderfynodd Cæsar ynghylch y matter hwn, cynhwysais yma y gorchymmynion a barodd yn ddiweddar eu cyhoeddi yn Alexandria; a'r rhai, er y gallant fod yn adnabyddus i bawb; etto darfu i'r brenin Agrippa, i'r hwn y mae gennyf y parch mwyaf, eu darllen o flaen fy mrawdle y pryd hwnnw, gan ddadleu na ddylai'r Iuddewon gael eu hymddifadu o'r rhagorfreintiau a ganiattaodd Augustus iddynt. Yr wyf gan hynny yn gorchymmyn na byddo i chwi yn yr amser i ddyfod, beri achos o derfysgoedd; ond bod i bawb gael ei ganiattau i ganlyn eu crefyddol ddefodau eu hunain."

Fel hyn y darfu i Petronius ofalu am y matter hwn; fel y byddai i'r cyfryw rwyg o'r gyfraith gael ei ddiwygio, ac na chynnygid y fath beth ymhellach yn erbyn yr Iuddewon. Ac yn awr y brenin Agrippa a gymmerodd ymaith yr archoffeiriadaeth oddiwrth Simon Cantheras, ac a ddododd Jonathan, mab Ananus, ynddi drachefn; gan addef ei fod yn fwy teilwng o'r swydd honno na'r llall. Ond nid oedd hyn yn gymmeradwy gan Jonathan, i gyrraedd ei uchel-fraint ragflaenol. Felly efe a'i gwrthododd, gan ddywedyd, "O frenin, yr wyf yn llawenhau yn y parch sydd gennyt i mi; ac yn ei gymmeryd yn garedig dy fod yn foddlon i ganiattau i mi drachefn y fath uchel-fraint o honot dy hun: er i Dduw farnu nad wyf yn deilwng oll o'r archoffeiriadaeth; fe'm boddlonwyd â dodi unwaith y gwisgoedd cyssegredig am danaf. Canys myfi y pryd hwnnw a ymwisgais â hwynt mewn dull mwy sanctaidd, nag y gwnawn yn awr wedi eu derbyn drachefn. Ond os wyt yn ewyllysio i berson mwy teilwng na myfi gael y swydd anrhydeddus hon, dyro gennad i mi enwi i ti y cyfryw un. Y mae gennyf frawd ag sydd yn bur oddiwrth bob trosedd cyhoeddus yn erbyn Duw, ac oddiwrth bob cam-ymddygiad tu ag attat dy hun. Yr wyf yn cynnyg hwn i ti fel un ag sydd yn addas i'r swydd urddasol hon." Felly y brenin a foddhawyd â'r ymadrodd hwn o'i eiddo, ac a adawodd heibio Jonathan; ac yn ol dymuniad ei frawd, a osododd yr archoffeiriadaeth i Matthias. Ac nid hir y bu nes i Marcus ddilyn Petronius yn rhaglawiaeth Syria.

## PENNOD VII.

*Am yr achos o anfoddlonrwydd Agrippa yn erbyn Silas; ei adgyweiriad o furiau Jerusalem; a'r rhoddion a gyfrannodd efe i drigolion Berytus.*

YN awr Silas, golygwr meirch-luoedd y brenin, gan ddarfod iddo ddangos ffyddlondeb iddo yn ei holl drallodion; ac na phallodd gydgyfrannogi ag ef yn ei holl beryglon, ond iddo yn fynych fyned tan y blinderau mwyaf er ei fwyn ef: yr ydoedd oblegid hyn yn dra hyderus, ac yn meddwl y gallai ddisgwyl rhyw sefyllfa oruchel gan y brenin, ar gyfrif cadernid y ffyddlondeb a ddangosasai iddo. Yn ganlynol, ni adawai i'r brenin eistedd mewn un lle fel ei uwch radd; ac a gymmerodd y cyffelyb ryddid yn llefaru wrtho ar bob achosion, nes ei ddyfod yn flinder i'r brenin, pan oeddynt yn cyd-wledda; gan dderchafu ei hun tu hwnt i fesur, a mynych ddwyn ar gof i'r brenin y fath anhap a fuasai arno; fel yr amlygai trwy fath o ymffrost, pa ryw sêl a ddangosasai yn ei wasanaeth: ac yr oedd fyth yn taro ar y tant hwn, pa fath boen a gymmerasai trosto, gan helaethu yn fawr ar yr achos hwnnw. Yr ail-adroddiad o hyn mor fynych a ymddangosodd yn waradwyddiad i'r brenin, yn gymmaint ag y cymmerodd y rhyddid diderfyn hwn o lefaru yn beth tra anweddus ynddo. Canys nid yw adgoffa'r amserau y bu aflwyddiant ar ddynion, mewn un modd yn beth boddlongar ganddynt: ac nid yw efe ond dyn anghall, yr hwn yn wastadol a fydd yn adrodd i arall pa fath gymmwynasau a wnaeth iddo. O'r diwedd, gan hynny, Silas a gythruddodd anfoddlonrwydd y brenin mor fawr, fel yr ymddygodd yn hytrach mewn poethder tymmer, nag mewn pwyll ac ystyriaeth: ac a ddarfu iddo, nid yn unig droi Silas o'i sefyllfa, fel blaenor ei farch-lu, ond a'i danfonodd tan rwymau i'w wlad ei hun. Ond awchlymdra ei ddigter a wisgodd ymaith yn raddol, ac a barodd le i resymmau mwy cyfiawn ynddo ym mherthynas i'r dyn hwn; a chymmerodd at ei ystyriaeth pa gymmaint o lafur a aethai trwyddo er ei fwyn ef. Felly pan oedd Agrippa yn cynnal dydd-gwyl ei enedigaeth, ac yn cyfrannu gwledd i'w holl ddeiliaid, efe a ddanfonodd

ar fyrr am Silas i fod yn un o'i wahoddedigion. Ond fel yr oedd efe yn ddyn tra rhydd yn ei eiriau, meddyliodd fod ganddo yn awr achos cyfiawn i fod yn ddigllon, yr hyn ni allai ei guddio oddiwrth y rhai a ddaethai i'w ymofyn: ond dywedodd wrthynt, "Pa ryw anrhydedd yw hwn y mae'r brenin yn fy ngwahawdd iddo, yr hyn yr wy'n cyfrif a fydd yn fuan trosodd? Canys ni adawodd y brenin fi i gadw y nodau dechreuol o ewyllys da oedd gennyf unwaith tu ag atto; ond efe a'm hanrheithiodd, a hynny yn anghyfiawn. A ydyw efe yn tybied y gallaf ddodi heibio y rhyddid o lefaru, yr hyn, gan wybod fy haeddiant, a fydd i mi arferyd yn uwch nag o'r blaen; ac a adroddaf pa gynnifer o gyfyngderau a ddarfu i mi ei waredu o honynt; pa fath lafur a fum tano o'i herwydd; trwy'r hyn yr ynnillais iddo ryddid a pharch: yn wobr am yr hyn y cefais ddioddef rhwymau a chaledi, ynghyd â charchar tywyll? Ni bydd i'm fyth anghofio y driniaeth hon: ïe, ysgatfydd na fydd i'm hunig enaid, pan ymadawo â'r corph, anghofio y pethau mawrion a wnaethum, ac a ddioddefais er ei fwyn." Dyma oedd yr achwyniad a wnaeth; ac efe a orchymmynodd i'r negeswyr ei fynegi i'r brenin. Felly fe ganfu fod ffolineb Silas yn anfeddyginiaethol, ac a adawodd iddo ddioddef rhagllaw yn y carchar.

Ymherthynas i furiau Jerusalem, ag oedd yn gyssylltedig â'r ddinas newydd, efe a'u hadgyweiriodd hwynt ar draul y deyrnas; gan eu gwneuthur yn llettach, ac yn fwy eu huchder. Ac efe a'u gwnaethai yn rhy gadarn i un gallu dynol eu dadymchwelyd, oni buasai i Marcus, y pryd hynny yn rhaglaw Syria, hyspysu trwy lythyrau i Claudius Cæsar yr hyn yr oedd yn ei wneuthur. Ac wedi i Claudius gynnwys rhai drwg-dybiau am ymgais i gyfnewid y llywodraeth; danfonodd at Agrippa am roddi heibio adeiladu y muriau hynny yn ddiôed: felly efe a ufuddhaodd, gan ystyried yn anghymmwys iddo wrthwynebu Cæsar.

Yn awr y brenin hwn ydoedd wrth nattur yn dra chymmwynasol, a haelionus yn ei roddion: ac efe a wnaeth ei hun yn dderbyniol iawn trwy lawer o anrhegion ardderchog a roddodd iddynt. Efe a gyfrifodd yn hyfrydwch i gyfrannu, ac a lawenychai wrth ganmoliaeth dda. Nid ydoedd oll yn debyg i'r Herod hwnnw a deyrnasodd o'i flaen. Canys yr ydoedd hwnnw yn un o ddrwg nwydau; yn llym yn ei gospedigaethau, ac heb drugaredd tu ag at y rhai a gashaed ganddo: a phob un a ganfu ei fod ef yn fwy cyfeillgar â'r Groegiaid, nag a'r Iuddewon: canys efe a addurnodd ddinasoedd dieithr ag anrhegion mawrion yn arian; gan adeiladu iddynt ymolchfeydd, a chwareudai heblaw hynny: ïe, yn rhai o'r lleoedd hynny efe a adeiladodd demlau, a rhodfeydd colofnog yn eraill, ond ni cheisiodd gyfodi yr adeilad leiaf yn un o'r dinasoedd Iuddewig; ac ni wnaeth un anrheg iddynt a dal ei chrybwyll. Ond tymmer Agrippa ydoedd garuaidd, ac yn gydradd haelionus at bawb; ac hefyd yn drugarog a thosturiol. Yr ydoedd yn arfer dynoliaeth at ddieithriaid, ac yn eu gwneud yn brofiadol o'i haelioni. Yn ganlynol yr oedd yn caru byw yn wastadol yn Jerusalem, ac a fanwl sylwodd ar gyfreithiau ei wlad. Efe gan hynny a ymgadwodd yn hollol ddilwgr; ac ni adawodd i un dydd fyned tros ei ben heb gyflawni'r aberthau defodol.

Pa fodd bynnag yr oedd rhyw wr a enwid Simon, o'r genedl Iuddewig yn Jerusalem, yr hwn a ymddangosodd yn dra chyfarwydd yn y gyfraith. Y gwr hwn a gafodd dyrfa ynghyd pan oedd y brenin yn Cæsarea; ac ydoedd a chanddo'r trahausdra o gyhuddo'r brenin o fod yn bucheddu yn ansanctaidd, ac y gellid yn gyfiawn ei fwrw allan o'r deml, gan na pherthynai ond yn unig i ddynion o Iuddewon genedigol. Ond cadflaenor Agrippa a hyspysodd iddo ddarfod i Simon wneuthur y fath araith wrth y bobl. Felly y brenin a ddanfonodd am dano ef; ac fel yr oedd y pryd hynny yn eistedd yn y chwareudy, efe a barodd iddo eistedd yn ei ymyl ef; ac a ddywedodd wrtho gyd â llais isel ac esmwyth, "Pa beth a wneir yma ag sydd wrthwynebol i'r gyfraith?" Ond nid oedd ganddo ddim i'w ddywedyd trosto ei hun, eithr efe a ddeisyfodd faddeuant ganddo. Felly y brenin ydoedd yn haws ganddo gymmodi ag ef nag y gellid meddwl; gan gyfrif tynerwch yn dymmer mwy dymunol na digter mewn brenin, a chan wybod fod cymmedroldeb yn fwy canmoladwy mewn dynion mawrion na phoethder natur. Felly efe a roddodd anrheg fechan i Simon, ac a'i gollyngodd ymaith.

Yn awr fel ag yr oedd Agrippa yn adeiladu llawer mewn amryw leoedd, efe a ddangosodd ofal neillduol tros bobl Berytus. Canys efe a adeiladodd chwareudy iddynt hwy, rhagorach na llawer eraill o'r fath hynny, mewn tegwch a chywreinrwydd; megis hefyd chwareufa grongwmpas, wedi ei gwneuthur ar draul mawr; ac heblaw y rhai hyn, adeiladodd iddynt dwymndai, a rhodfeydd colofnog: ac ni arbedodd ddim cost yn ei adeiladau, i'w gwneuthur yn hardd ac yn ehang. Gwariodd hefyd lawer ar eu cyssegriadau, ac a barottodd ddangosiadau iddynt; gan gyrchu cerddorion yno o bob math, ag a wnaent unrhyw hyfryd-sain. Dangosodd hefyd ei fawrfrydigrwydd ar y chwareudy, yngosodiad nifer mawr o gleddyfwyr yno; a dyna 'r fan y bu iddo ddangos yr amryw wrthymdrechwyr, mewn trefn i foddhau y rhai oedd yn bresennol: dim llai yn wir na * saith gant o ddynion i ymladd â seith-gant eraill; a pheunododd yr holl ddrwg-weithredwyr oedd ganddo i'r ymladdfa hon, fel y byddai i'r drwg-ddynion dderbyn eu cospedigaeth, ac y byddai yr ymarferiad rhyfelgar yma yn ddifyrrwch mewn amser o heddwch. Ac fel hyn y difethid yr holl ddrwg-weithredwyr hyn ar unwaith.

## PENNOD VIII.

### *Am Weithredoedd a Marwolaeth Agrippa.*

WEDI i Agrippa orphen yr hyn a adroddais uchod yn Berytus, efe a symmudodd i Tiberias, dinas yn Galilea. Yn awr yr ydoedd mewn parch mawr gyd â brenhinoedd eraill. Yn ganlynol daeth atto ef Antiochus, brenin Commagena; Sampsigeramus, brenin Emesa; Cotys, yr hwn oedd frenin Armenia leiaf; a Polemo, brenin Pontus; ac hefyd Herod ei frawd, yr hwn oedd frenin Chalcis. Y rhai hyn oll a dderbyniodd efe gyd â chroesawiad helaeth, ac mewn dull rhwymedig; fel y dangosodd ehangder ei feddwl, ac yr amlygodd ei hun yn deilwng o'r parch a dalodd y brenhinoedd iddo, trwy ddyfod y modd hwn i ymweled ag ef. Pa fodd bynnag, tra'r oedd y brenhinoedd hyn yn aros gyd ag ef, Marcus, rhaglaw Syria a ddaeth yno. Felly y brenin, mewn trefn i gynnal y parch oedd ddyledus i'r Rhufeiniaid, a aeth allan o'r ddinas i gyfarfod ag ef, cyn belled â deg o 'stadau. Ond hyn a brofodd yn ddechreuad amrafael rhyngddo ef a Marcus: canys cymmerodd gyd ag ef y brenhinoedd hynny megis ei gyd-orseddwyr. Ond yr oedd amheuaeth yn Marcus ynghylch ystyr y cyfeillgarwch hwn rhyngddo â'r brenhinoedd; gan feddwl nad oedd y fath gyttundeb agos rhwng cynnifer o bennau coronog er dim budd i'r Rhufeiniaid: danfonodd gan hynny rai o wŷr ei deulu at bob un o honynt; gan erchi iddynt fyned i'w ffordd tu a'u cartrefi eu hunain heb oedi ymhellach. Cymmerwyd hyn yn dra angharedig gan Agrippa, yr hwn yn ol hynny a ddaeth yn elyniaethol iddo. Ac yn awr * efe a gymmerodd yr archoffeiriadaeth ymaith oddiwrth Matthias, ac a wnaeth Elioneus, fab Cantheras, yn archoffeiriad yn ei le.

Yn awr wedi i Agrippa deyrnasu tair blynedd ar Judea, efe a ddaeth i ddinas Cæsarea, a elwid gynt Tŵr Strato; ac yno y gosododd i fynu olygiadau er anrhydedd Cæsar, wedi clywed fod gŵyl i gael ei chadw, i wneuthur addunedau tros ei ddiogelwch ef. I'r hon ŵyl yr oedd lliaws mawr wedi dyfod ynghyd o'r pennaethiaid, a'r cyfryw ag oedd o uchelradd trwy ei holl dalaith. Ar yr ail † ddydd o gynhaliad y dangosiadau hyn, dododd wisg am dano yn wneuthuredig i gyd o arian, ac o gyfansoddiad tra chywrain, ac a ddaeth i'r chwareudy yn foreuol: ar ba amser ei wisg wedi llewyrchu arni gan dywyniad cyntaf yr haul, a ddisgleiriodd mewn modd rhyfedd: ac yr ydoedd mor oleu ac i daenu math o ddychryn dros y rhai a edrychasant arno yn ddiysgog. Ac yn ebrwydd ei wenhieithwyr a lefasant allan; rhai o un lle, eraill o le arall, mai duw oedd efe. A hwy a chwanegasant, "Bydd di drugarog wrthym: canys er na ddarfu i ni hyd yma ond dy berchi fel dyn; etto nyni o hyn allan a'th addefwn yn un ag sy'n rhagori ar farwolion." Ar hyn ni ddarfu i'r brenin na'u ceryddu hwynt, na gwneud gwrthodiad o'u gweniaeth: ond wedi iddo ar fyrr edrych i fynu yn ol hynny, efe a ganfu ddylluan yn sefyll ar râff uwch ei ben ef; ac yn ebrwydd fe ddeallodd fod yr aderyn hwnnw yn negesenwr newyddion

* Rhifedi dieithr oedd hwn o ddrwg-weithredwyr i fod tan farn marwolaeth ar unwaith; y rhai a ymddengys nad oeddynt lai na 1400.

* B. A. 43.

† Act. xii. 21, 22, 23.

drwg iddo, a syrthiodd i ddwfn dristwch: gofid llym hefyd a gyfododd yn ei fòl, ac a gafodd ddechreuad tra gerwin. Edrychodd gan hynny ar ei gyfeillion, ac a ddywedodd, "Myfi, yr hwn a elwch chwi yn dduw, a orchymmynir i mi yn fuan ymadael â'r bywyd hwn, pan y mae rhagluniaeth y modd yma yn ceryddu y geiriau celwyddog a ddywedasoch ychydig yn ol wrthyf. A mi yr hwn a dybid gennych chwi yn anfarwol, a yrrir ymaith ar frŷs gan angau. Ond yr wyf fi yn rhwym i dderbyn yr hyn a osodir i mi gan ragluniaeth, fel ag y rhyngo bodd Duw: canys ni bum fyw mewn un wedd yn ddrwg, ond mewn amgylchiad dedwydd a godidog." Wedi dywedyd hyn ei ofid a gynnyddodd yn fawr; ac yn ganlynol efe a ddygwyd ymaith i'r palas: a'r gair a gerddodd o amgylch y byddai farw ym mhen ychydig amser. Ond y lliaws yn ebrwydd a eisteddasant mewn sach-liain, gyd â'u gwragedd a'u plant, yn ol rheol cyfraith eu gwlad, ac a ymbiliasant â Duw am adferiad y brenin. Pob lle ydoedd hefyd yn llawn galar ac wylofain. Yn awr y brenin a orphwysodd mewn goruwch-stafell: ac fel yr oedd yn canfod y bobl islaw iddo yn gorwedd o'u hyd ar y llawr, ni allai ei hun ymattal rhag ŵylo. Ac wedi ei wisgo allan gan ofid yn ei ymysgarodd am bum niwrnod, efe a ymadawodd â'r bywyd hwn, yn y * bedwaredd flwyddyn ar ddeg a deugain o'i oedran, ac yn y seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad. Canys teyrnasasai bedair blynedd tan Caius Cæsar, tair o ba rai ydoedd ar dalaith Philip yn unig; ac ar y bedwaredd cafodd yr eiddo Herod wedi ei chwanegu atti. Ac fe deyrnasodd heblaw hyn dair blynedd dan Claudius Cæsar. Ym mha amser y teyrnasodd ar y gwledydd rhagddywededig; ac hefyd oedd ganddo Judea wedi ei chwanegu attynt, yn gystal a Samaria a Cæsarea. Y deyrnged a dderbyniodd oddi wrthynt ydoedd dra mawr; dim llai nâ † deuddeng myrddiwn o drachmæ. Etto efe a fenthyccai symiau mawrion gan eraill; canys yr ydoedd mor dra haelionus, fel yr oedd ei gostan yn rhagori ar ei deyrnged, a'i gyfraniadau yn anfesuredig.‡

Ond cyn i'r lliaws gael gwybod ddarfod i Agrippa drengu, Herod, brenin Chalcis, a Helcias, golygydd ei feirch, a chyfaill y brenin, a ddanfonasant Aristo, un o weision ffyddlonaf y brenin, i ladd Silas yr hwn a fuasai yn elyn iddynt, megis pe gwnaethid wrth orchymmyn y brenin ei hun.

## PENNOD IX.

*Am helyntion yr Iuddewon ar ol marwolaeth Agrippa; ac appwyntiad Cuspius Fadus yn rhaglaw Judea.*

AGRIPPA a adawodd o'i ol fab, yr hwn hefyd a enwid Agrippa, dyn ieuangc o gylch dwy flwydd ar bymtheg o oedran, a thair merch; un o ba rai, Bernice, a briodasid â Herod, brawd ei dad, yn un mlwydd ar bymtheg o oedran. Y ddwy eraill, Mariamne a Drusilla, oeddynt etto yn wyryfon; y gyntaf ydoedd yn ddeg, a Drusilla yn chwe mlwydd o oedran. Yn awr y merched yma a ddyweddiasid y modd hwn gan eu tad: Mariamne i Julius Archelaus Epiphanes, mab Antiochus, fab Chelcias: a Drusilla i frenin Comagena. Ond pan wybuwyd ddarfod i Agrippa ymadael â'r bywyd hwn, trigolion Cæsarea a Sebaste a anghofiasant y caredigrwydd a ddangosasai tu ag attynt, ac a wnaethant ran gelynion creulon: canys bwriasant wradwyddiadau ar y marw megis nad yw gymmwys eu hadrodd. A chynnifer o honynt ag oedd y pryd hynny yn filwyr, y rhai oeddynt dra lliosog, a aethant i'w dŷ, ac a ddygasant ymaith § luniau ei ferched, i'r putteindai: ac wedi eu gosod ar nen y tai hynny, hwy a'u hammarchasant hyd eithaf eu gallu. Hwy hefyd a eisteddasant eu hunain i lawer mewn lleoedd cyhoeddus, ac a gynnaliasant wleddoedd, gan wisgo garlantau ar eu pennau, gyd ag olew a gwin-offrwm i Charon; a chan yfed y naill at y llall o lawenydd marw'r bren-

* B. A. 44

† Y swm hon o 12,000,000 o drachmæ, yr hyn sydd gydradd a 3,000,000 o siclau; h. y. 2s. 10d. bob sicl, yr hyn a gyfattebai i 425,000 l. o arian bathedig; dyma ydoedd flynyddol deyrnged Agrippa y mwyaf yn cymmwys ynghylch y drydydd ran o deyrnged ei daid Herod; wedi iddo ef dynnu ymaith y trethoedd oddi ar dai yn Jerusalem; ac ni bu mor orthrymmus ag a fuasai efe i'r Iuddewon. Gwel. nod ar XVII. 11. Y swm uchod oedd fawr! ond etto a ymddengys yn annigonol i atteb i afradlonrwydd ei gostau.

‡ Y mae Reland yn dal sulw yma, ac nid yn ammhriodol, fod Josephus yn gadael ar ol gymmodiad yr Herod Agrippa hwn â'r Tyriaid a Sidoniaid, trwy offerynoldeb Blastus, ystafellydd y brenin, a grybwyllir Act. xii. 20. Ac nid oes hanes yn y byd mor gyflawn, ag i beidio a gado yn ol ddim a sylwir arno gan eraill; oddieithr cymmeryd y naill o'r llall, a'u cyfleu at eu gilydd.

§ Photius a ddywed, mai nid lluniau neu ddelwau, ond merched ieuaingc y brenin eu hunain a ammharchwyd fel hyn gan y milwyr.

in. Ië,'r oeddynt nid yn unig yn anystyriol o Agrippa, yr hwn a estynasai ei haelioni i'r fath radd tu ag attynt, ond hefyd ei daid Herod, yr hwn ei hun a ail-adeiladodd eu dinasoedd, ac a wnaethai borthladdoedd a themlau iddynt ar draul ddirfawr.

Yn awr Agrippa, mab yr hwn a fuasai farw, oedd yn Rhufain, yn cael ei ddwyn i fynu tan ofal Claudius Cæsar. Ac wedi i Claudius gael hyspysrwydd o farwolaeth Agrippa, a bod trigolion Sebaste a Cæsarea wedi dangos y fath ammharch tu ag atto, yr ydoedd yn ddrwg ganddo'r newyddion hyn, ac a anfoddlonodd yn fawr wrth anniolchgarwch y dinasoedd hynny. Tueddwyd ef oblegid hyn i anfon Agrippa ieuangc ymaith yn ddioed i gymmeryd meddiant o deyrnas ei dad, gan ewyllysio ei chadarnhau iddo trwy lŵ. Ond y gwŷr rhyddion a'i gyfeillion oedd yn meddu'r awdurdod fwyaf gyd ag ef a'i troesant oddiwrtho; ac a ddywedasant ei fod yn beth peryglus i ganiattau teyrnas mor fawr i ddyfod tan lywodraeth dyn mor ieuangc, ac un oedd etto yn brin wedi cyrhaeddyd blynyddoedd oedran synwyr; yr hwn ni allai ofalu yn ddigonol tros ei llywodraethiad. Felly Cæsar a farnodd fod yr hyn a ddywedent hwy yn rhesymmol. Yn ganlynol efe a ddanfonodd Cuspius Fadus i fod yn rhaglaw Judea, a'r holl deyrnas: ac a dalodd y parch hwnnw i'r marw, fel na arweiniodd i mewn Marcus, â'r hwn yr oedd mewn amrafael, i'w deyrnas. Ond efe a benderfynodd yn y lle cyntaf i ddanfon llythyrau at Fadus, gan orchymmyn iddo geryddu pobl Cæsarea a Sebaste, am y dirmyg a ddangosasent tu ag at yr hwn a fuasai farw, a'u hammharch i'w ferched ydoedd etto yn fyw: a bod iddo symmyd ymaith y corph hwnnw o filwyr oedd yn Cæsarea a Sabaste, gyd â'r pum byddin, i Pontus, fel y gwnelent eu dyledswydd filwraidd yno. A bod iddo ddewis nifer gydradd o filwyr allan o'r lleng o Rufeiniaid oedd yn Syria, i gyflawni i fynu eu lle hwynt. Etto ni ddarfu i'r rhai a dderbyniasant y cyfryw orchymmynion gael eu symmyd yn weithredol: canys wrth anfon cennadwyr at Claudius, efe a dynerodd wrthynt, ac a ganiattaodd iddynt drachefn aros yn Judea. A'r rhai hyn oedd yr unig ddynion a fu'n achos o fawr drallod i'r Iuddewon mewn amserau ar ol hynny; ac a hauasant hâd y rhyfel hwnnw a ddechreuodd tan Florus. Oddiwrth yr hyn y bu, wedi i Fespasian ddarostwng y wlad, iddo eu trosglwyddo allan o'i dalaith.

---

# LLYFR XX.

*O Fadus y Rhaglaw hyd Florus.*

YN CYNNWYS AMSERIAD O BUM MLYNEDD AR HUGAIN.

## PENNOD I.

*Am ymryson y Philadelphiaid yn erbyn yr Iuddewon, ac am wisgoedd yr archoffeiriad.*

AR farwolaeth y brenin Agrippa, yr hyn a adroddasom am dano yn y llyfr o'r blaen, Claudius Cæsar a ddanfonodd Cassius Longinus, megis yn ddilynydd i Marcus, oddiar barch i goffadwriaeth y brenin Agrippa; yr hwn yn fynych a ddymunodd arno trwy lythyrau, tra'r ydoedd yn fyw, na oddefai i Marcus yn hwy fod yn flaenor Syria. Ond Fadus cyn gynted ag y daeth yn ddirprwywr Judea, a gafodd fod anghydfod wedi cymmeryd lle rhwng yr Iuddewon oedd yn aros yn Perea, â thrigolion Philadelphia, ynghylch eu terfynau mewn rhyw faes-drefa elwid Mia, yr hon oedd lawn o ddynion oedd o dueddiad rhyfelgar: canys yr Iuddewon o Perea a gymmerasent i fynu arfau heb gydsyniad eu pennaethiaid, ac a ddifethasent amryw o'r Philadelphiaid. Wedi i Fadus gael hyspysrwydd o'r amrafael hwn, fe'i cythruddwyd yn fawr iawn, am na adawsent benderfyniad y matter hwn i gael ei sefydlu ganddo ef, os barnasant fod y Philadelphiaid wedi gwneuthur cam â hwynt; eithr ddarfod iddynt yn fyrbwyll gymmeryd i fynu arfau yn eu herbyn. Felly fe ddaliodd dri o'u prif-flaenoriaid, y rhai hefyd

oedd achosion y terfysg hwn, ac a orchymmynodd eu rhwymo hwynt; un o ba rai yn ol hynny a orchymmynodd ei ladd, enw'r hwn oedd Hannibal; ac efe a alltudodd y ddau eraill, Amram ac Eleazar.

Tholomy hefyd, yspeiliwr tra hynod, y'mhen rhyw amser a ddygwyd atto ef yn rhwym, ac a laddwyd; ond nid cyn iddo wneuthur llawer o ddrygau i Idumea a'r Arabiaid: ac yn wir oddi ar yr amser hwnnw Judea a gliriwyd oddiwrth yspeilwyr, trwy ofal a rhagluniad Fadus. Efe hefyd ar yr amser yma a ddanfonodd am yr archoffeiriaid, a phrif-ddinaswyr Jerusalem, a hynny ar orchymmyn yr ymerawdwr; ac a'u rhybuddiodd ar fod iddynt osod i fynu y gwisgoedd lleision a chyssegredig, y rhai ni arferir gan neb ond yr archoffeiriad, yn nhŵr Antonia; fel y byddent tan awdurdod y Rhufeiniaid megis gynt. Yn awr, ni allai'r Iuddewon wrthsefyll yr hyn a ddywedodd; ond hwy a ddymunasant ar Fadus, a Longinus, (yr hwn a ddaethai yn ddiweddar i Jerusalem, ac a ddygasai fyddin fawr o wŷr gyd âg ef, rhag ofn y byddai i orchymmyn Fadus beri i'r Iuddewon wrthryfela;) fel y gallent yn y lle cyntaf gael cennad i ddanfon cennadwyr at Cæsar; i ddeisyf am i'r gwisgoedd cyssegredig gael aros tan eu hawdurdod eu hunain; ac yn y lle nesaf yr arosent hyd oni wybyddent pa attebiad a roddai Claudius i'r gofyniad hwnnw. Felly hwy a ddywedasant y rhoddent gennad iddynt i ddanfon eu cennadwyr, os byddai iddynt roddi eu meibion yn wystlon iddynt am eu heddychol ymddygiad. Ac wedi iddynt gyttuno i hynny, a chaniattau y gwystlon a ofynasant, y cennadwyr a ddanfonwyd yn ganlynol. Ond pan, ar eu dyfodiad i Rufain, y darfu i Agrippa ieuangc, mab yr hwn a fuasai farw, ddeall yr achos o'u dyfodiad, (canys yr oedd yn aros gyd â Claudius Cæsar, fel y dywedasom o'r blaen), efe a erfyniodd ar Cæsar am ganiattau i'r Iuddewon eu dymuniad, ac i ddanfon cennadwri at Fadus yn ganlynol.

Ar hyn Claudius a alwodd am y cennadwyr, a ddywedodd ei fod yn caniattau eu dymuniad; ac a archodd iddynt ddychwelyd eu diolch i Agrippa am y ffafr hon, pa un a gyfrennid iddynt ar ei ddeisyfiad ef. Ac heblaw'r attebion hyn, danfonodd y llythyr canlynol gyd â hwynt:

"Claudius Cæsar, Germanicus, noddwr y bobl y pummed gwaith, a fwriadwyd yn brifswyddog y pedwerydd waith, a gorchymmynydd y ddegfed waith, tad ei wlad; at y swyddogion, senedd, pobl, a holl genedl yr Iuddewon, yn anfon annerch. Ar gynddrychioliad eich cennadwyr, trwy fy nghyfaill ieuangc Agrippa, yr hwn a ddygais i fynu, ag sydd yn awr gyda mi, a'r hwn sydd yn un o dduwioldeb mawr;) y rhai a ddaethant i dalu diolch am y gofal a gymmerais tros eich cenedl: ac i erfyn arnaf mewn modd taer gostyngedig, ar iddynt gael y gwisgoedd cyssegredig, gyd â'r goron a berthyn iddynt, tan eu hawdurdod: yr wyf yn caniattau eu deisyfiad, megis ag y gwnaeth y person rhagorol hwnnw Vitellius o'm blaen, yr hwn sydd dra charedig gennyf. Ac mi a gydsyniais â'ch dymuniad, yn y lle cyntaf, oddiar barch i'r duwioldeb yr ydwyf yn ei broffesu, ac o herwydd y mynnwn i bawb addoli Duw yn ol cyfreithiau eu gwlad eu hunain. A hyn yr wyf hefyd yn ei wneuthur, ar gyfrif y bydd i mi trwyddo foddloni y brenin Herod ac Agrippa ieuangaf; o barch pa rai i mi, a'u difrifol ewyllys da i chwi, yr wyf yn dra aduabyddus; ac â pha rai yr wyf mewn cyfeillach fwyaf, gan eu cyfrif a'u golygu fel personau o eirda rhagorol. Yn awr mi a ysgrifennais am yr achosion hyn at Cuspius Fadus, fy rhaglaw. Enwau y rhai a ddygasant eich llythyrau i mi yw, Cornelius mab Cero; Trypho, mab Theudio; Dorotheus, mab Nathaniel; ac Ioan fab Ioan. Y llythyr hwn a ddyddiwyd cyn y pedwerydd o calend Gorphenaf, pan oedd Rufus a Pompius Sylvanus yn rhaglawiaid."

Herod hefyd, brawd yr Agrippa a fu farw, yr hwn oedd feddiannol o'r frenhinol awdurdod y pryd hynny ar Chalcis, a wnaeth ei erfyniad at Claudius Cæsar, am feddiannu'r awdurdod ar y deml, ac arian y drysorfa gyssegredig, a dewisiad yr archoffeiriaid; ac a gafodd yr hyn oll a ddeisyfodd am danynt. Fel ag ar ol yr amser hwn, y darfu i'r awdurdod yma barhau yn * mysg ei hiliogaeth hyd ddiwedd y

* Y mae yma ryw gyfeiliornad yn y copiau, neu gamsyniaeth yn Josephus; canys yr awdurdod o wneuthur archoffeiriaid, wedi marw Herod, brenin Chalcis, ac i Agrippa gael ei wneud yn frenin Chalcis yn ei le, a berthynodd iddo ef; ac efe a arferodd yr unrhyw o hyd, nes cymmeryd Jerusalem.

rhyfel. Yn ganlynol Herod a symmudodd yr archoffeiriad diweddaf, a elwid Cantheras, ac a roddodd yr uchelfraint i'w ddilynydd Joseph, mab Camus.

## PENNOD II.

*Am droedigaeth Helena, brenhines Adiabene, a'i mab Izates, i'r grefydd Iuddewig; ac am haelioni Helena i'r tlodion, pan oedd newyn mawr yn Jerusalem.*

YNGHYLCH yr amser hwn, * Helena, brenhines Adiabene, a'i mab Izates, a newidiasant ddull eu buchedd, ac a gofleidiasant y defodau Iuddewig, a hynny ar yr achos canlynol: Monobazus, brenin Adiabene, yr hwn oedd iddo hefyd yr enw Bazeus, a syrthiodd mewn cariad â'i chwaer Helena, ac a'i cymmerodd iddo yn wraig. Ac fel yr oedd ar noswaith mewn gwely gyd â hi, efe a syrthiodd i drymgwsg, ac a dybiodd glywed llais yn dywedyd wrtho, y byddai i'r plentyn bychan o'r hwn yr oedd yn feichiog, trwy ragluniaeth Duw, gael ei eni mewn diogelwch, a chael diwedd happus. Y llais hwn a'i haflonyddodd ef: felly efe a ddeffrodd yn ebrwydd, ac a adroddodd ei freuddwyd i'w wraig: ac wedi geni ei fab, efe a'i galwodd ef Izates. Yr oedd ganddo yn wir Monobazus, ei fab hynaf, o Helena hefyd, megis yr oedd ganddo feibion o wragedd eraill; etto efe a osododd ei serch yn bennaf ar ei † unig-anedig fab Ozotes yr hyn oedd ddechreuad y gynfigen oedd gan ei frodyr eraill o'r un tad tu ag atto; pan ar y cyfrif hwn yr oeddynt yn ei gashau fwyfwy, ac a oeddynt oll yn gofidio yn fawr am fod eu tad yn dewis Izates o'u blaen hwynt. Ac er bod eu tad yn adnabod eu tymmer, etto fe faddeuodd iddynt; megis heb eu bod o'r tuedd hwnnw oddiar ddrwgewyllys, ond o herwydd y dymuniad oedd ganddynt bob un i gael eu caru gan eu tad. Pa fodd bynnag efe a ddanfonodd Izates gyd â llawer o anrhegion at Abennerig, brenin Charax-Spasini; a hynny ar gyfrif yr ofn mawr oedd arno o'u plegid hwynt, rhag digwydd rhyw anhap i'w fab Izates trwy'r casineb yr oedd y lleill yn ei ddwyn tu ag atto; ac efe a orchymmynodd ofal ei fab iddo: ar yr hyn y darfu i Abennerig yn llawen dderbyn y dyn ieuangc; ac yr oedd ganddo serch mawr tu ag atto, ac a'i priododd â'i ferch ei hun, enw pa un oedd Samacha. Efe hefyd a roddodd wlad iddo, oddiwrth yr hon y derbyniodd deyrnged fawr.

Ond wedi tyfu o Monobazus yn oedranus, a gweled nad oedd ganddo ond ychydig o amser i fyw, ewyllysiodd gael golwg ar ei fab cyn ei farw. Felly efe a ddanfonodd am dano, ac a'i cofleidiodd yn y modd mwyaf caredig, ac a roddodd iddo'r wlad a elwid Carræ. Tir ydoedd hwn a ddygai'r ffrwyth a elwid amonum mewn helaethrwydd mawr. Ynddo hefyd y mae gweddillion arch Noa, ym mha un y dywedir ddarfod i Noa ddiangc rhag y diluw; ac a ‡ ddangosir ynddo weddillion yr arch i'r sawl a ewyllysiant eu gweled. Yn ganlynol Izater a breswyliodd yn y wlad honno hyd farwolaeth ei dad. Ond ar y dydd y bu farw Monobazus, y frenhines Helena a ddanfonodd am yr holl bendefigion a theyrnas, megis ag am y rhai yr oedd y byddinoedd tan eu gofal: ac wedi eu dyfodiad, hi wnaeth yr araith ganlynol wrthynt: "Yr wyf yn credu nad ydych yn anhyspys o ddymuniad fy ngwr, ar fod i Izates ei ddilyn yn llywodraethiad y deyrnas; gan ei farnu yn addas i hynny. Pa fodd bynnag arhosais am eich penderfyniad chwi. Canys dedwydd yw'r hwn a dderbynio deyrnas, nid gan berson neillduol yn unig, ond trwy ewyllysgar gydsyniad llawer." Hyn a ddywedodd mewn trefn i brofi y rhai a wahoddasid, ac i ddatguddio eu bwriadau. Ar eu gwrandawiad o hyn, hwy yn gyntaf a gyfarchasant y frenhines yn ol eu harfer: ac yna dywedasant, eu bod yn cydsynied âg ewyllys y brenin, ac yn ymostwng iddo: ac yr oeddynt yn llawenhau ddarfod i dad Izates ei ddewis o flaen eraill o'i frodyr, megis peth ag oedd yn gyttûn â'u dymuniadau oll. Ond eu bod yn ewyllysio yn gyntaf ladd ei frodyr a'i geraint, trwy hynny y deuai'r llywodraeth gyd â mwy o sicrwydd i Izates: o herwydd wedi unwaith eu difetha hwynt, byddai'r

* Orosius sy'n cadarnhau, nad troedigaeth at y grefydd Iuddewig ond at y grefydd gristionogol a gafodd Helena: a thrwy hynny anfon o honi i ddiwallu y Cristionogion yn Judea, yn amser y newyn tan Claudius Cæsar. Y Talmud sydd hefyd yn cynnwys hanes yr Helena a'r Monobazus hyn; a'u ffafr fawr i'r Iuddewon, fel y sylwa Hudson a Reland ar y bennod hon.

† Josephus sy'n arfer yr ymadrodd 'unig-anedig fab' yma, i arwyddo dim yn rhagor nag un a gerid yn fwyaf ganddo, megis yr arwyddir hefyd yn yr Hen Destament a'r newydd, lle y byddai mwy nag un o feibion heblaw hynny. Gen. xxii. 2. Heb. xi. 17.

‡ Peth tra hynod ydoedd ddarfod credu, fod gweddillion arch Noa yn bod hyd amser Josephus. Gwel nod ar I. 3.

ofn hwnnw wedi myned trosodd, yr hyn yr oedd eu casineb yn achlysur o hono. Helena a attebodd, ei bod yn dychwelyd diolch iddynt am eu caredigrwydd tu ag atti hi ac Izates: ond a ddymunodd iddynt oedi y lladdiad hwn o frodyr Izates, nes ei ddyfod yno ei hun, i roddi ei gydsyniad i hynny. Felly gan na pherswadiwyd hi i hyn ganddynt, sef i'w lladd hwynt, cyngorasant hi o'r hyn lleiaf i'w cadw mewn rhwymau hyd oni ddeuai efe, a hynny er eu diogelwch eu hunain. Cyngorasant hi hefyd i osod i fynu ryw un ag a allai roddi ei hyder ynddo, fel llywodraethwr presennol y wlad. Felly y frenhines a gydsyniodd â'r cyngor hwn, ac a osododd i fynu Monobazus, y mab hynaf, yn frenin, gan ddodi'r goronbleth ar ei ben, ynghyd â modrwy a sel ei dad, megis hefyd yr addurn a alwent Sampster; a pharodd iddo weini yn achosion y deyrnas hyd ddyfodiad ei frawd: yr hwn a ddaeth ar fyrder wedi clywed am farwolaeth ei dad, ac a ddilynodd ei frawd Monobazus, yr hwn a roes y llywodraeth i fynu iddo ef.

Yn awr yn oed yr amser ag y bu Izates yn aros yn Charax Spasini, masnachwr Iuddewig, enw'r hwn ydoedd Ananias, a ddaeth i blith y menywaid a berthynent i'r brenin, ac a addysgodd iddynt addoli Duw yn ol y grefydd Iuddewig. Efe hefyd, trwyddynt hwy, a ddaeth yn adnabyddus i Izates, ac a'i perswadiodd ef yr un modd i gofleidio y grefydd honno: ac, ar daer ddeisyfiad Izates, efe a ddaeth yn gydymaith gyd ag ef, pan anfonwyd am dano gan ei dad i ddyfod i Adiabene. Digwyddodd hefyd, i Helena, ynghylch yr un pryd, gael ei hyfforddi gan Iuddew arall, a myned trosodd attynt hwy. Ond wedi i Izates feddiannu'r deyrnas, a dyfod i Adiabene, a gweled yno ei frodyr, a'i geraint eraill tan rwymau, yr ydoedd yn anfoddlon o'i blegid. A chan ei farnu yn arwydd o ddidduwiaeth eu lladd neu eu carcharu hwynt; ond etto yn meddwl ei fod yn beth peryglus i adael iddynt eu rhyddid, gyd â choffâd o'r niweid a gynnygiasent wneuthur iddo; efe a ddanfonodd rai o honynt, ynghyd â'u plant, megis yn wystlon i Rufain at Claudius Cæsar; ac a ddanfonodd y lleill at Artabanus, brenin Parthia, i'r un dibenion.

Ac wedi canfod o hono fod ei fam yn mawr hoffi y defodau Iuddewig, ymroddodd yntau i'w cofleidio yn hollawl. Ac fel y meddyliodd na allai fod yn Iuddew cyfan-gwbl oddieithr ei enwaedu, yr ydoedd yn parottoi i hynny. Ond pan ddeallwyd hyn gan ei fam, hi ymdrechodd ei ragflaenu, ac a ddywedodd, y dygai hynny berygl arno ei hun; a chan ei fod ef yn frenin, y parai hynny iddo gael ei gashau gan ei ddeiliaid, pan ddeallent ei fod mor hoff o ddefodau ag oedd ddieithrol iddynt hwy; ac am na oddefent byth eu llywodraethu gan Iuddew. Hyn, am yr amser presennol, a'i perswadiodd i ymattal. Ac wedi adrodd yr hyn a ddywedasai wrth Ananias, cadarnhaodd yr hyn a ddywedasai ei fam: ac wedi iddo fygwth hefyd ei adael ef, oddieithr iddo gydsynio â hwynt, ymadawodd ymaith oddiwrtho, ac a ddywedodd, ei fod yn ofni rhag, os gwnaed y fath weithred yn gyhoeddus, y byddai ei hunan mewn perygl o gospedigaeth, am ei fod yn achos o hono; ac am ei fod yn hyfforddydd y brenin, mewn gweithredoedd oedd ag anghlod iddynt: ac fe ddywedodd y gallai addoli Duw heb ei enwaedu; yr hwn addoliad oedd o natur * ragorach nâ'r enwaediad. Chwanegodd y maddeuai Duw iddo, er na chyflawnai y weithred, tra gadewid hi o'r neilldu o angenrheidrwydd, a rhag ofn ei ddeiliaid. Felly y brenin y pryd hwnnw a gydsyniodd â pherswadiad Ananias. Ond yn ol hynny rhyw Iuddew arall a ddaethai allan o Galilea, enw'r hwn oedd Eleazar, a'r hwn a gyfrifid yn dra chyfarwydd yn nysgeidiaeth ei wlad, a'i perswadiodd i gyflawni'r peth. Canys fel yr oedd yn myned i mewn i'r palas i'w gyfarch ef, a'i gael yn darllen cyfraith Moses, efe a ddywedodd wrtho, Nid ydwyt yn ystyried, O frenin, dy fod yn anghyfiawn yn troseddu y pwngc mwyaf o'r gyfraith, ac yn dirmygu Duw ei hun, trwy adael o'r neilldu'r enwaediad: canys ni ddylit yn unig ddarllen y gyfraith, ond yn bennaf gwneuthur yr hyn y mae yn ei orchymmyn. Pa hyd y parhai yn ddienwaededig? Ond os na ddarllenaist etto y gyfraith ynghylch yr enwaediad, ac na's gwyddost pa fath annuwiaeth yr wyt yn euog o hono wrth ei esgeuluso, darllen hi yn awr." Pan glybu'r brenin yr hyn a ddywedodd, ni oedodd y peth ddim yn hwy; ond a ymneillduodd i ystafell arall; a chan

* Gwel 1 Cor. vii. 19, Gal. vi. 15.

ddanfon am feddyg, efe a wnaeth yr hyn a orchymmynid. Yna y danfonodd am ei fam, ac Ananias ei ddysgawdwr, ac a hyspysodd iddynt ddarfod cyflawni'r peth. Ar yr hyn y tarawyd hwynt yn ddisymmwth â syndod ac â dychryn, a hynny i raddau mawr, rhag gwneuthur datguddiad cyhoeddus o'r peth, a chael ei geryddu, ac y byddai i'r brenin beryglu y golled o'i deyrnas; pan na ddioddefai ei ddeiliaid gael eu llywodraethu gan ddyn ag oedd mor awyddus i grefydd arall; a rhag rhedeg o honynt i berygl am eu bywydau eu hunain, o herwydd y cyfrifid hwynt yn achosion o'r hyn a wnaethai. Eithr Duw ei hun oedd yr hwn a rwystrodd i'r hyn a ofnasant gymmeryd effaith: canys efe a gadwodd Izates ei hun a'i feibion, pan syrthiasant i amryw beryglon; ac a ddug o amgylch eu gwaredigaeth pan ymddangosai yn ammhossibl; ac a amlygodd wrth hynny nad yw ffrwythau duwioldeb yn myned yngholl ymherthynas i'r sawl a'u parchant, ac a osodant eu ffydd ynddo ef yn unig. Eithr y damweiniau hyn a adroddwn yn eu cylch rhagllaw.

Ond am Helena, mam y brenin, pan welodd achosion teyrnas Izates yn aros mewn heddwch, a bod ei mab yn ddyn dedwyddol, ac yn cael ei ganmol gan bawb, hyd y nod ymhlith dieithriaid, trwy drefniad rhagluniaeth Duw ymherthynas iddynt hwy; yr oedd ganddi chwant i fyned i ddinas Jerusalem, mewn trefn i addoli yn y deml honno ag oedd mor hynod ym mysg pob dynion; ac i offrymmu ei diolchgarwch ynddi. Felly hi ddymunodd gennad gan ei mab i fyned yno. Ar yr hyn y rhoddodd ei gydsyniad i'r peth a ofynodd, ac a wnaeth barottöad mawr erbyn ei hymadawiad, ac a'i diwallodd â llawer o arian. A hi a aeth i wared i ddinas Jerusalem, a'i mab yn myned o'i blaen yn ei thaith i belldra mawr. Yn awr, ei dyfodiad yno ydoedd o fudd mawr i bobl Jerusalem: canys fel ag yr oedd newyn mawr yn eu gwasgu yr amser hwnnw; a llawer yn meirw o ddiffyg yr hyn oedd angenrheidiol i'w diwallu; y frenhines Helena a ddanfonodd rai o'i gweision i Alexandria, gyd âg arian, i brynu mesur mawr o ŷd: ac eraill o honynt i Cyrene, i ymofyn llongaid o ffigys sychion. A chyn gynted ag y daethant yn ol, a dwyn gyd â hwynt y lluniaeth yma, yr hyn a wnaethpwyd yn dra chyflym, hi a ddosparthodd gynhaliaeth i'r rhai oedd mewn diffyg o hono; ac a adawodd goffadwriaeth dedwydd o'i hol am yr haelioni hwn, pa un a gyfrannodd i'n holl genedl. Ac wedi i'w mab Izates gael ei wneud yn hyspys o'r newyn hwn, danfonodd fesur mawr o arian i ofal y pennaethiaid yn Jerusalem. Pa fodd bynnag yr amrywiol gymmwynasau a wnaeth y frenhines a'r brenin i'n dinas Jerusalem, a gaiff ei* adrodd ymhellach ar ol hyn.

## PENNOD III.

*Am y cynnorthwy a wnaeth Izates i Artabanus, brenin Parthia.*

YN awr Artabanus, brenin y Parthiaid, wrth ganfod llywodraethwyr yr amrywiol daleithiau, wedi llunio bradwriaeth yn ei erbyn, ni thybiodd yn ddiogel iddo barhau i aros yn eu mysg hwynt; ond efe a ymrôdd i fyned at Izates, mewn gobaith o gael rhyw ffordd o waredigaeth trwy'r moddion hyn; ac, os byddai bossibl, i ddychwelyd i'w lywodraethau ei hun. Felly fe ddaeth at Izates, ac a ddygodd yng nghylch mil o'i berthynasau a'i weision gyd âg ef, ac a'i cyfarfu ef ar y ffordd; pryd yr adwaenodd Izates yn dda, ond nid adwaenai Izates ef. Pan safodd Artabanus gerllaw, ac yn y lle cyntaf ymgrymmu iddo, yn ol yr arferiad; yna y dywedodd, gyd â dagrau yn ei lygaid, a chyd âg wyneb trist, "O frenin, nac edrych heibio i mi dy was, ac na wrthod yn falchiaidd y deisyfiad yr wyf yn myned i'w osod o'th flaen: canys fel yr wyf wedi fy narostwng i amgylchiad isel, trwy gyfnewidiad damweiniol; ac o frenin wedi dyfod yn ddyn cyffredin, yr wyf yn sefyll mewn diffyg o'th gynnorthwy. Cymmer tan dy ystyriaeth gan hynny, ansicrwydd sefyllfaoedd dynol; a chyfrif y gofal a gymmerech trosof fi, yn cael ei gymmeryd trosot dy hun

* Yr hanes yma ymhellach am gyfraniadau Izates a Helena i Iuddewon Jerusalem, a addewir gan Josephus yma, ni chyflawnir, fel y tybiaf, yn un rhan o'i waith presennol. Ond am y newyn arswydus hwn yn Judea, cymmerwch nod Dr. Hudson yma: "Hwn," eb efe, "oedd y newyn hwnnw, a ragddywedwyd gan Agabus, Act. xi. 28 yr hyn a ddigwyddodd pan oeddClaudius yn brif-swyddog y pedwerydd gwaith, B. A. 47. ac nid yr un arall a fu pan ydoedd brif-swyddog yr ail-waith, a Cassius yn gydymaith, B. A. 42. Yn awr wedi i Josephus ddywedyd ychydig ar ol hynny, pen. 5 ddarfod i Tiberius Alexander ddilyn Cuspius Fadus fel rhaglaw; y mae'n ebrwydd yn adchwanegu, "ddarfod i newyn mawr ddigwydd yn Judea tan y rhaglawiaid hyn." Oddiwrth yr hyn y mae'n eglur, barhau o'r newyn hwn rai blynyddau, o herwydd ei fod yn amser y ddau raglawiaid uchod.

hefyd." Yn awr, cyn gynted ag y clybu Izates enw Artabanus, ac y canfu ef yn sefyll megis erfyniwr o'i flaen, efe a neidiodd i lawr oddi ar ei farch, ac a ddywedodd wrtho, "Cymmer galondid, O frenin, ac na flined dy aflwyddiant presennol di, megis pe byddai yn anfeddyginiaethol: o herwydd cyfnewidiad dy amgylchiad athrist a fydd etto yn dra buan: canys ti a'm cai i yn fwy cyfaill a chynnorthwywr i ti nag y gall dy obaith ei addaw. Bydd i mi un ai dy ail-sefydlu yn nheyrnas Parthia, neu golli yr eiddo fy hun."

Wedi iddo ddywedyd hyn, gosododd Artabanus ar ei farch, ac a'i canlynodd ef ar draed, er anrhydedd i frenin ag oedd yn ei olygu yn fwy nag ef ei hun. Yr hyn wedi i Artabanus ei weled yr ydoedd yn dra anesmwyth o'i blegid, ac a wnaeth lw y disgynnai i lawr oddiar ei farch, oddieithr i Izates fyned ar gefn ei farch ei hun o'i flaen. Felly fe gydsyniodd â'i ddymuniad: ac wedi iddo ei ddwyn i'w balas brenhinol, fe ddangosodd iddo bob rhyw barch wedi iddynt gyd eistedd: a rhoddodd iddo'r lleoedd uchaf mewn gwleddoedd, megis heb edrych ar ei amgylchiad presennol, ond ei fawredd rhagflaenol; a hynny ar yr ystyriaeth hon, fod cyfnewidiau mewn bywyd yn gyffredin i bob dynion. Efe hefyd a ysgrifenodd at y Parthiaid i wneuthur derbyniad o Artabanus drachefn; gan roddi iddynt ei ddeheulaw a'i ffydd, y byddai iddo anghofio yr hyn a wnaethid o'r blaen; ac y cymmerai arno i'r diben hwn fod yn gyfryngwr rhyngddynt. Yn awr ni ommeddai'r Parthiaid, o'u rhan eu hunain, wneud derbyniad drachefn o hono: ond hwy a ddadleuasant nad oedd yn awr yn eu gallu wneuthur hynny: o herwydd trosglwyddo o honynt y llywodraeth i un arall, yr hwn a wnaethai dderbyniad o honi, enw pa un oedd Cinnamus: a'u bod yn ofni rhag y cyfodai rhyfel cartrefol ar yr achos hwn. Pan ddeallodd Cinnamus eu hamcanion, efe a ysgrifenodd at Artabanus ei hun; canys efe a ddygasid i fynu ganddo ef, ac a ydoedd o naturiaeth dda a rhywiogaidd. Dymunodd arno fod yn hyderus, a dyfod i feddiannu ei lywodraeth drachefn. Yn ganlynol Artabanus a'i credodd, ac a ddychwelodd adref; pan y cyfarfu Cinnamus ag ef, ac a'i cyfarchodd fel brenin; a chymmerodd y goron-bleth oddiar ei ben ei hun, a dododd hi ar ben Artabanus.

Fel hyn yr adferwyd Artabanus i'w deyrnas drachefn trwy'r moddion o Izates, pan gollasai hi ar gyfrif pendefigion y deyrnas. Ac nid oedd efe yn anystyriol o'r lleshad a gawsai trwyddo, ond a'i gwobrwyodd â'r fath anrhydedd ag oedd o'r parch mwyaf yn eu mysg hwynt. Torrodd ymaith hefyd wlad helaeth a ffrwythlon oddiwrth frenin Armenia, ac a'i rhoddodd iddo ef. Enw y wlad yw Nisibus, ym mha un y darfu i'r Macedoniaid gynt adeiladu dinas, yr hon a alwasant Antioch o Mygdonia. A thyma'r anrhydedd a dalwyd i Izates, gan frenin y Parthiaid.

Ond cyn i hir amser fyned heibio, Artabanus a fu farw, ac a adawodd ei deyrnas i'w fab Bardanes. Yn awr y Bardanes hwn a ddaeth at Izates, ac a fynnai ei berswadio i ymgyssylltu ei fyddin ag ef, a'i gynnorthwyo yn y rhyfel ag oedd yn ei barottoi i'w wneuthur yn erbyn y Rhufeiniaid; ond ni allai ei ynnill ef i hynny. Canys Izates a wyddai yn dda rymmusder a llwydd y Rhufeiniaid; ac ydoedd wedi danfon ei bum mab, a'r rhai hynny heb fod ond ieuaingc, i ddysgu yn gywrain iaith ein cenedl ni, a'n cyfreithiau; yn gystal ag y darfu iddo anfon ei fam i addoli yn ein teml, fel y crybwyllais eisoes; am ba achos yr ydoedd yn fwy hwyrfrydig i gydsynio: ac efe a geisiodd attal Bardanes, gan ddywedyd wrtho yn wastadol am gadernid byddinoedd, a llwyddiant y Rhufeiniaid mewn brwydrau; a meddwl wrth hynny ei ddychrynu, a'i luddias yn yr ymgyrch hwnnw. Ond brenin y Parthiaid a gythruddwyd trwy'r ymddygiad hwn, ac a gyhoeddodd ryfel yn uniongyrch yn erbyn Izates. Etto ni fanteisiodd efe ar y rhyfel hwn, o herwydd i Dduw dorri ymaith ei holl obaith ynddo: canys y Parthiaid, yn canfod bwriadau Bardanes, a'r modd y penderfynodd wneud rhyfel â'r Rhufeiniaid, a'i lladdasant ef, ac a osodasant ei deyrnas i'w frawd Gotarzes. Efe hefyd, cyn hir amser a ddarfu am dano, trwy fradwriaeth a osodwyd i'w erbyn; a Vologases ei frawd a'i dilynodd ef. Efe a gyfranodd ddwy o'i daleithiau i ddau o'i frodyr o du ei dad. A'r un hynny o eiddo'r Mediaid i'r brawd hynaf Pacorus; ac Armenia i'r ieuangaf Tiridates.

## PENNOD IV.

*Izates yn cael ei fradychu gan ei ddeiliaid ei hun, a'r Arabiaid yn ymladd i'w erbyn; ond trwy ragluniaeth Duw yn cael ei waredu allan o'u dwylaw.*

PAN welodd brawd y brenin, Monobazus, a'i garennydd eraill fod Izates, trwy ei grefydd tu ag at Dduw, yn cael ei berchi gan bob dynion, yr oedd ganddynt hwythau ddymuniad i adael crefydd eu gwlad, ac i ymuno â defodau yr Iuddewon. Ond y weithred honno o'r eiddynt a adnabuwyd gan ddeiliaid Izates. Ar hyn fe anfoddhawyd y boneddigion yn fawr, ac ni allent gynnwys eu digter i'w herbyn, ond a fwriadasant pan gaent gyfleustra wrth eu bodd, i osod cospedigaeth arnynt. Yn ganlynol hwy a 'sgrifenasant at Abia, brenin yr Arabiaid, ac a addawsant iddo swm mawr o arian, os gwnai ymgyrch yn erbyn eu brenin: gan addaw, ar yr ymosodiad cyntaf, y gadawent hwy ef; am eu bod yn ewyllysio dwyn cospedigaeth arno, ar gyfrif y casineb oedd ganddo tu ag at eu crefyddol addoliad. Yna'r ymrwymasant trwy lw i fod yn ffyddlon i'w gilydd, gan ddymuno arno wneuthur brys yn ei amcanion. Yn ganlynol, brenin Arabia a gydsyniodd â'u dymuniadau, ac a ddygodd fyddin liosog i'r maes, ac a aeth yn erbyn Izates. Ac ar ddechran'r ymosodiad cyntaf, a chyn eu dyfod i ymladdfa agos, y gwŷr boneddigion hynny, fel pe buasai dychryn disymmwth wedi disgyn arnynt, a ymadawsant oll ag Izates, fel y cyttunasent wneuthur, a chan droi eu cefnau at eu gelynion hwy a ffoisant ymaith. Etto ni ddigalonwyd Izates wrth hyn: ond pan ddeallodd fod yr uchelwyr wedi ei fradychu, efe a giliodd yn ol i'w wersyll, ac a wnaeth ymofyniad am yr achos: a chyn gynted ag y gwybu pwy oeddynt hwy a wnaethai'r fradwriaeth â brenin Arabia, efe a dorrodd ymaith y rhai a gafwyd yn euog, ac a adnewyddodd yr ymladdfa ar y dydd nesaf, pan y lladdodd y rhan fwyaf o'i elynion, ac a wnaeth i'r lleill gymmeryd eu hedfa ymaith. Erlidiodd hefyd ar ol eu brenin, ac a'i gyrrodd i amddiffynfa a elwid Arsamus; a chan ganlyn yn fywiog ar y gwarchae, efe a gymmerodd yr amddiffynfa honno. Ac wedi ei hanrheithio o'r holl ysglyfaeth oedd ynddi, yr hyn nid ydoedd ychydig, efe a ddychwelodd i Adiabene. Eithr ni chymmerodd Abia yn fyw; o herwydd pan welodd ei hun wedi ei amgylchu ar bob llaw, efe a laddodd ei hun.

Ac er darfod i uchelwyr, neu bendefigion Adiabene fethu yn eu cynnygiad cyntaf, am eu traddodi gan Dduw i ddwylaw eu brenin: etto ni fyddent hwy wedi hynny yn llonydd; ond a 'sgrifenasant drachefn at Vologases, brenin Parthia, i ddymuno arno ladd Izates, a gosod arnynt ryw bennaeth arall a fyddai o dylwyth y Parthiaid. Canys dywedasant eu bod yn casâu eu brenin eu hunain, am ddiddymmu cyfreithiau eu tadau, ac ymarferyd defodau dieithrol. Pan glywodd brenin Parthia hyn, efe yn ebrwydd a wnaeth ryfel ag Izates: ac er nad oedd ganddo un esgus cyfiawn am wneuthur y rhyfel hwn, danfonodd atto ac a archodd iddo ddychwelyd y rhagorfreintiau anrhydeddus a roddasid iddo gan ei dad; gan fygwth, os gommeddai hynny, i ryfela yn ei erbyn. Wedi clywed hyn, Izates ydoedd tan flinder meddwl; a chan dybied y byddai yn waradwydd iddo ymddangos megis yn rhoddi i fynu ei freintiau trwy ddigalondid. Etto gan ei fod yn gwybod, er i frenin Parthia gael yn ol yr anrhydeddau hyn, na fyddai efe er hynny yn llonydd: efe a benderfynodd roddi ei achos i fynu i Dduw ei amddiffynwr, tan y perygl hwn yr ydoedd ynddo am ei fywyd. Ac fel y cyfrifodd ef iddo yn brif amddiffynwr, efe a ymddiriedodd ei blant a'i wragedd i amddiffynfa dra chadarn, gan osod ei ŷd i fynu mewn tŷrau, a dodi ei weiriau ar dân. Ac wedi iddo osod pethau mewn trefn, yn oreu ag y medrai, efe a ddisgwyliodd am ddyfodiad y gelyn. Ac wedi dyfod brenin Parthia, â byddin fawr o wŷr meirch a thraed, yr hyn a fu yn gynt nag y disgwyliwyd (canys efe a ddaethai gyd â'r brys mwyaf,) a gwnend o hono wrthglawdd ar geulennydd yr afon a wahanai Adiabene oddiwrth Media, Izates hefyd a wersyllodd mewn lle heb fod yn neppell oddiyno, a chyd ag ef ddeng mil o wŷr meirch. Ond fe ddaeth negeseuwr at Izates oddiwrth frenin Parthia, yr hwn a ddywedodd wrtho mor fawr oedd ei arglwyddiaethau; yn cyrraedd o'r afon Euphrates hyd Bactria, gan rifo rhifedi deiliaid y brenin. Bygythiodd hefyd y cospid ef, fel un anniolchgar i'w ar-

glwyddi; ac nad oedd y Duw yr oedd efe yn ei addoli yn alluog i'w waredu o ddwylaw'r brenin. Yn ol i'r negeseuwr draddodi ei neges hwn, Izates a attebodd, y gwyddai fod gallu brenin Parthia yn llawer mwy na'r eiddo ef, ond ei fod yn gwybod hefyd fod Duw yn llawer galluoccach na phob dynion. Ac wedi dychwelyd iddo 'r attebiad hwn, aeth ei hun i wneud ei * erfyniau at Dduw; ac efe a orweddodd ar y llawr, ac a ddododd ludw ar ei ben, fel arwydd o'i gystudd, ac a ymprydiodd, ynghyd ai wragedd a'i blant. Ar ba ryw amser y galwodd ar Dduw, ac a ddywedodd, "O Arglwydd Iôr, os na orchymmynais fy hun yn ofer i'th ofal daionus di, ond a uniawn fernais mai tydi yw Arglwydd a Phennadur pob rhyw fodau; tyred yn awr yn gynnorthwy i mi, ac ymddiffyn fi rhag fy ngelynion: nid yn unig ar fy nghyfrif fy hun, ond oherwydd eu hymddygiad trahausymherthynas i th allu di, pan na arswydasant ollwng eu tafodau rhyfygus i lefaru yn dy erbyn." Fel hyn y llefodd ac yr wylodd, gyd â thywallt dagrau, pan y gwrandawodd Duw ei weddi. Ac yn ebrwydd y nos honno Vologases a gafodd lythyrau, cynnwysiad pa rai ydoedd, fod llu mawr o'r Dahæ, a'r Sacæ, yn ei ddirmygu wedi ei fyned yn awr mor bell oddi cartref, a gwneud o honynt ymgyrch i'w erbyn, gan ddifrodi a gosod Parthia yn anghyfannedd. Felly fe orfu arno gilio a dychwelyd yn ol heb wneud unrhyw beth. Ac fel hyn y bu ddarfod i Izates ddiangc ar y bygythiad oddiwrth y Parthiaid trwy ragluniaeth Duw.

Ni bu amser hir ar ol hyn nes marw Izates, wedi cyflawni pymtheg mlwydd a deugain o'i oedran. Gadawodd o'i ol bedwar ar hugain o feibion, a phedair ar hugain o ferched. Pa fodd bynnag, rhoddodd orchymmyn am i'w frawd Monobazus ei ddilyn yn y llywodraeth: gan ad-dalu iddo trwy hynny; oblegid tra bu ef yn absennol ei hun, ar ol marw eu tad, iddo yn ffyddlon gadw'r frenhiniaeth iddo ef. Ond pan glybu Helena ei fam am farwolaeth ei mab, yr ydoedd yn alarus iawn, fel yr oedd yn naturiol iddo ar ol marw y cyfryw fab. Etto'r oedd yn gyssur iddi glywed fod y teyrnasiad wedi dyfod i'w mab hynaf. Yn ganlynol hi ymadawodd ymaith ar ffrwst: ac wedi ei dyfod i Adiabene, nid hir y bu hi byw ar ol ei mab Izates. Ond Monobazus a ddanfonodd ei hesgyrn, yn gystal â'r eiddo ei frawd Izates i Jerusalem: ac a roddodd orchymmyn am eu claddu wrth y colofnau a adeiladodd eu mam yno: Yr oeddynt yn dair mewn rhifedi; a'u pellder heb fod yn rhagor nâ thair o 'stadau o ddinas Jerusalem.

## PENNOD V.

*Ymherthynas i Theudas; a meibion Judas y Galilead; hefyd am y blinder a oddiweddodd yr Iuddewon ar wyl y Pasc.*

YN awr † fe ddigwyddodd, tra'r oedd Fadus yn rhaglaw Judea, ddarfod i ryw swynwr, a elwid ‡ Theudas, berswadio rhan fawr o'r bobl i gymmeryd eu heiddo gyd â hwynt a'i ddilyn ef hyd afon yr Iorddonen. Canys dywedodd wrthynt mai prophwyd oedd efe: ac y byddai iddo trwy ei orchymmyn ei hun rannu'r afon, a pheri iddynt fynediad hawdd trwyddi. A llawer a hudwyd trwy ei ymadroddion. Pa fodd bynnag, ni adawodd Fadus iddo fanteisio dim oddiwrth ei wyllt ddychymmyg; ond fe ddanfonodd lu o wŷr meirch allan i'w erbyn. Y rhai wrth syrthio arnynt yn annisgwyliadwy, a laddasant lawer o honynt, ac a gymmerasant eraill yn fyw. Theudas hefyd a gymmerasant; ac wedi torri ymaith ei ben hwy a'i dygasant i Jerusalem. Hyn oedd y pethau a oddiweddodd yr Iuddewon yn amser llywodraethiad Cuspius Fadus.

Yna y daeth Tiberius Alexander yn ddilynwr i Fadus. Mab ydoedd efe i Alexander, yr alabarc yn Alexandria; yr hwn Alexander ydoedd wr pennaf ym mysg ei gydoeswyr, o ran ei deulu a'i gyfoeth. Yr ydoedd hefyd yn fwy enwog o ran ei dduwioldeb na'i fab Alexander; canys nid arhosodd efe ynghrefydd ei wlad. Tan y rhaglawiaid hyn y digwyddodd y newyn mawr hwnnw yn Judea, ym mha un y danfonodd y frenhines

* Yr wylo, ymprydio, a gweddio a arferwyd gan Izates, gyd â gorwedd ar y ddaear, a dodi lludw ar ei ben, ydynt arwyddion amlwg, ei fod wedi dyfod un a'i yn Iuddew, neu Gristion Ebionaidd, y rhai yn wir ni wahaniaethent lawer oddiwrth Iuddewon eu hunain. Gwel pen. 6. Pa fodd bynnag ei erfyniadau a wrandawyd, ac efe yn rhagluniaethol a waredwyd o'r perygl cyfagos yr ydoedd ynddo.

† B. A. 46. ‡ Y Theudas hwn, pa un a gyfododd tan Fadus, y rhaglaw, ynghylch B. A. 45 neu 46. ni allai fod yr un a'r Theudas hwnnw a gyfododd yn nyddiau'r dreth tan Cyrenius; neu ynghylch B. A. 7. Act. v. 36, 37. Pwy oedd y Theudas boreuaf hwnnw, gwel y nod ar XVII. 10.

Helena am ŷd o'r Aipht, a'r draul mawr, ac a'i dosparthodd i'r rhai oedd mewn eisiau, fel y crybwyllais yn barod. Ac heblaw hyn, meibion * Judas o Galilea yn awr a laddwyd: fy meddwl yw, y Judas hwnnw a barodd i'r bobl godi gwrthryfel, pan ddaeth Cyrenius i gymmeryd cyfrif o amgylchiadau'r Iuddewon, fel y dangosasom † mewn llyfr rhagflaenol. Enwau y meibion hynny oedd James ac Alexander, y rhai a orchymmynodd Alexander eu croeshoelio. Ond yn awr Herod, brenin Chalcis, a symmudodd Joseph, mab Camydus, o'r archoffeiriadaeth; ac a wnaeth Ananias, mab Nebedeus, yn ddilynwr. Ac yn awr y bu ddarfod i Cumanus ddyfod yn lle Tiberius Alexander; megis hefyd y bu i'r Herod hwnnw, brawd Agrippa y brenin mawr, ymadael â'r bywyd hwn, yn yr wythfed flwyddyn o deyrnasiad Claudius Cæsar. Efe a adawodd ar ei ol dri o feibion; Aristobulus, yr hwn a gafodd o'i wraig gyntaf, gyd a Bernicanus a Hyrcanus, y rhai a gafodd o Bernice, merch ei frawd. Ond Claudius Cæsar a roddodd ei arglwyddiaethau i Agrippa, yr ieuangaf.

Yn awr tra'r oedd achosion yr Iuddewon tan weinidogaethiad Cumanus, fe ddigwyddodd cythrwfl mawr yn ninas Jerusalem, a llawer o'r Iuddewon a ddifethwyd ynddo. Ond bydd i mi yn gyntaf egluro'r achos oddiwrth ba un y tarddodd. Pan ydoedd yr ŵyl a elwid y Pasg ger llaw, ar ba amser yr oedd lliaws mawr wedi ymgasglu ynghyd o bob parth i'r ŵyl honno; Cumanus a ofnodd rhag i ryw ymgais at adnewyddiad llywodraeth gael ei wneuthur ganddynt. Felly fe orchymmynodd i un mintai o'i filwyr gymmeryd eu harfau, a sefyll yn ystafelloedd y deml, i fod yn barod i ddarostwng terfysgoedd, os digwyddai y cyfryw bethau gyfodi. Ac nid oedd hyn yn rhagor nag a wnaethai rhaglawiaid eraill Judea ar y cyfryw ŵyliau. Ond ar y pedwerydd dydd o'r ŵyl, rhyw un o'r milwyr a ddangosodd ei noethni i'r lliaws. Hyn a ddododd y rhai a'i canfu ef mewn math o gynddaredd; ac a barodd iddynt waeddi allan, fod y weithred gywilyddus hon nid yn unig yn eu gwaradwyddo hwy, ond Duw ei hunain. Ië, rhai o honynt a waradwyddasant Cumanus, gan haeru ddarfod gosod y milwr ar waith ganddo ef. Yr hyn wedi i Cumanus ei glywed, yr ydoedd yntau ei hun hefyd wedi ei gythruddo nid ychydig, am osod o honynt y fath fai arno ef: etto efe a'u cynghorodd i adael o'r neilldu y fath ymrysonau, a pheidio cyfodi terfysg ar yr ŵyl. Ond pan na allodd eu denu i fod yn llonydd, canys yr oeddynt etto yn myned ym mlaen yn eu gwaradwyddiad i'w erbyn, rhoddodd orchymmyn i'r holl fyddin gymmeryd eu harfogaeth, a dyfod i amddiffynfa Antonia. Ond wedi canfod y milwyr yno gan y lliaws, hwy a ddychrynasant, ac a redasant, ar ffrwst ymaith. Ond fel yr oedd y tramwyfeydd a arweinient oddiyno yn gulion; ac fel y tybiasant fod y gelynion yn eu dilyn hwynt, gwasgasant ymlaen ar eu gilydd yn eu ffoedigaeth, a nifer mawr a fathrwyd i farwolaeth: ac nid oedd yn wir y rhifedi yn llai nag ugain mil a ddifethwyd yn y cythrwfl hwn. Felly yn lle gŵyl, hwy a gawsant yn y diwedd o honi ddiwrnod galarus: a hwynt-hwy, bawb o honynt, a anghofiasant eu gweddiau a'u haberthau, ac a roesant eu hunain i fynu i alar ac wylofain. Cymmaint a hynny o dristwch a ddygodd serthni neu ddigywilydd-dra un milwr arnynt hwy.‡

Yn awr, § cyn i'r galar hwn fyned trosodd, drwg arall a'u goddiweddodd hwynt: canys rhai o honynt hwy a godasai y cythrwfl cyntaf, pan oeddynt yn ymdaith ar hyd y brif-ffordd, ynghylch cant o 'stadau o'r ddinas, a yspeiliasant Stephanus, gweinidog Cæsar, fel yr ydoedd ar ei daith; gan ddwyn oddi arno yr hyn oll a feddai gyd âg ef. Yr hyn beth, pan glywodd Cumanus am dano, fe ddanfonodd filwyr yn union-gyrch, gan orchymmyn iddynt anrheithio y pentrefi cymmydogaethol, a dwyn y gwŷr pennaf yn eu mysg mewn rhwymau atto ef. Yn awr, fel yr oedd y difrod hwn yn cael ei wneuthur, un o'r milwyr a gafodd afael ynghyfreithiau Moses oedd yn gorwedd yn un o'r pentrefi hyn, ac a'i dug allan o flaen llygaid y rhai oll oedd yn bresennol, ac a'u rhwygodd yn dippiau; a hyn a wnaethpwyd gyd âg iaith ddiystyrllyd a llawer o ddirmyg. Yr hyn bethau, pan glywodd yr Iuddewon am danynt, hwy a redasant ynghyd yn rhifedi mawr; ac a ddaethant

* Gwel pen. 2. † Llyfr XVIII. pen. 1.

‡ Hwn, a llawer eraill o derfysgoedd ac ymrysonau, y rhai a gyfodasant ar y gwyliau Iuddewig, yn Josephus, sy'n egluro y gocheliad hwnnw o eiddo'r pennaethiaid, pan ddywedasant, Matth. xxvi. 5. Na chymmerwn Iesu ar y dydd-gwyl, rhag bod cynnwrf ym mysg y bobl; fel y mae Reland yn iawn sylwi ar y lle hwn. § B. A. 50.

ant i wared i Cæsarea, lle'r ydoedd Cumanus y pryd hwnnw: a hwy a attolygasant arno ddial, nid hwy eu hunain, ond y Dawdod, cyfreithiau yr hwn a ddirmygasid. Am nas gallent hwy oddef byw yn rhagor, os oedd raid i gyfreithiau eu tadau gael eu hamharchu yn y modd hwnnw. Yn ganlynol, Cumanus, oddiar ofn rhag i'r lliaws fyned i ymryson, a chyd â chyngor ei gyfeillion hefyd, a gymmerodd ofal ar fod i'r milwr a ddiystyrasai'r cyfreithiau gael torri ymaith ei ben: ac wrth hynny rhoddwyd attalfa ar yr ymrysoniad ag oedd barod i gymmeryd lle yr ail-waith.

## PENNOD VI.

*Am amrafael a dorrodd allan rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid; ond a derfynir gan Claudius Cæsar.*

YN awr, * cweryl a dorrodd allan rhwng y Samariaid a'r Iuddewon, ar gyfrif yr achos canlynol. Arferiad y Galileaid, pan ddeuent i'r ddinas sanctaidd ar y gŵyliau gosodedig, oedd cymmeryd eu taith † trwy wlad y Samariaid. Ac ar yr amser hwn yr oedd yn gorwedd ar y ffordd bentref a elwid Ginea, a'i sefyllfa yn nherfynau Samaria, a'r gwastadedd mawr: ym mha le amryw bersonau a berthynent iddo a ymladdasant â'r Galileaid, ac a laddasant amryw o honynt. Ond wedi i bennaethiaid y Galileaid gael hyspysrwydd o'r hyn a wnaethid, hwy a ddaethant at Cumanus, gan ddymuno arno ddial llofruddiad y rhai a laddesid. Ond efe a ddenwyd gan y Samariaid, trwy roddi iddo arian, i beidio gwneuthur dim. Ar hyn, yr anfoddlonodd y Galileaid yn fawr, ac a berswadiasant liaws yr Iuddewon i gymmeryd i fynu arfau, ac ail-ynnill eu rhyddid: gan ddywedyd fod caethiwed yn beth chwerw ynddo ei hun; ond pan chwanegid atto niweid, ei fod yn dyfod yn gwbl annioddefol. A phan ymdrechodd eu pennaethiaid eu llonyddu hwynt, gan addaw perswadio Cumanus i ddial y rhai a laddesid; ni fynnent wrando arnynt, ond a gymmerasant eu harfau, ac a geisiasant gynnorthwy Eleazar, fab Dinens, yspeilydd, yr hwn er's amryw flynyddoedd a drigasai ym mhlith y mynyddau: ac â'i gynnorthwy ef hwy a anrheithiasant lawer o bentrefi'r Samariaid. Pan glybu Cumanus am y weithred hon, efe a gymmerodd lu Sebaste, gyd â phedair byddin o wŷr traed, ac a arfogodd y Samariaid, ac a gychwynodd allan yn erbyn yr Iuddewon; ac efe a ddaliodd ac a laddodd lawer o honynt, a chymmerodd eraill yn fyw. Ar yr hyn y gwŷr enwoccaf yn Jerusalem, a gyfrifid felly o herwydd eu parch, a'r teuluoedd y tarddent oddi wrthynt, cyn gynted ag y gwelsant i ba raddau pell yr oeddynt wedi myned, hwy a ymwisgasant mewn sach-liain, gan bentyrru lludw ar eu pennau, a thrwy bob moddion ag oedd bossibl a attolygasant ar yr ymrysonwyr; a pherswadiasant hwynt y gosodent o flaen eu llygaid ‡ eithaf ddadymchweliad eu gwlad, llosgiad eu teml, a'u caethiwed eu hunain, eu gwragedd, a'u plant: yr hyn a fyddai'r canlyniad o'r peth yr oeddynt yn ei wneuthur; oddieithr iddynt roddi heibio eu harfau, ac ymlonyddu tros yr amser i ddyfod. Yr ymresymmiad hwn a'u hynnillodd hwynt. Felly y bobl a wasgarwyd; a'r yspeilwyr a ymadawsant, ac a aethant i'w lleoedd cedyrn drachefn: ac ar ol yr amser hwn Judea a redwyd trosti ag yspeilwyr.

Ond pennaethiaid Samaria a aethant at Ummidius Quadratus rhaglaw Syria, yr hwn y pryd hynny oedd yn Tyre; ac a gyhuddasant yr Iuddewon o osod eu pentrefi ar dân, a'u hanrheithio hwynt: a chyd â'r cwbl dywedasant, nad oeddynt yn anfoddloni cymmaint wrth yr hyn a ddioddefent eu hunain, ag wrth y dirmyg a ddangosent trwy hynny i'r Rhufeiniaid: pan, os oeddynt wedi cael rhyw niweid, y dylasent eu cymmeryd hwy yn farnwyr ar yr hyn a wnaethpwyd; ac nid yn fyrbwyll i wneud y fath ddifrod, fel pe na buasai ganddynt y Rhufeiniaid yn llywodraethwyr. Ar ba gyfrif hwy a ddaethant atto ef, mewn trefn i feddiannu'r dial yr oeddynt mewn eisiau o hono. Hwn oedd y cyhuddiad a ddygodd y Samariaid yn erbyn yr Iuddewon. Ond yr Iuddewon a gadarnhasant mai'r Samariaid oedd awdwyr y cythrwfl hwn: a dar-

---

* B. A. 54. † Y dramwyfa wastadol hon o'r Galileaid trwy wlad Samaria, yn eu mynediad i Judea a Jerusalem sy'n egluro amryw fannau o'r efangylau i'r un pwrpas, fel y sylwia Dr. Hudson. Gwel Luc xvii. 1. Gwel hefyd ym Mywyd Josephus ei hun, lle y cyfrifir hi yn daith tri diwrnod.

‡ Ein Hiachawdwr a ragddywedasai, y byddai i wrthodiad yr Iuddewon o'i efengyl ef, ym mhlith pethau eraill, ddwyn y tri math o ddrygau hyn arnynt, pa rai'r ymddengys eu bod yn disgwyl a fyddai canlyniadau eu terfysg a'u hymryson: sef, llwyr ddadymchweliad eu gwlad; llosgi eu teml â thân; a'u caethiwo hwy eu hunain, eu gwragedd, a'u plant. Gwel Luc xxi. 6, 24.

fod yn gyntaf i Cumanus gael ei lygru gan eu rhoddion; a myned o hono heibio i lofryddiad y rhai a laddesid, mewn distawrwydd. Wedi clywed yr haeriadau hyn gan Quadratus, rhoddodd heibio wneuthur gwrandawiad o'r achos, ac a addawodd roddi ei ddedryd pan ddeuai efe i Judea, a chael gwybodaeth manylach o'r achos. Felly y gwŷr hyn a aethant ymaith heb lwyddo. Etto nid hir y bu nes dyfod Quadratus i Samaria: pan, ar wrandawiad yr achos, barnu a wnaeth mai'r Samariaid oedd ddechreuwyr yr anghydfod. Ond pan hyspyswyd iddo fod rhai o'r Iuddewon yn gwneuthur gwrthwynebiad, efe a orchymmynodd groeshoelio y rhai hynny a gymmerasai Cumanus yn gaethion. Yna efe a aeth i ryw bentref a elwid Lydda, yr hwn nid oedd lai na dinas o faintioli, ac yno y gwrandawodd achos y Samariaid yr ail-waith, wrth ei frawdle; ac a ddysgodd wybod gan ryw un o honynt, fod un o'r rhai mwyaf o'r Iuddewon, enw'r hwn oedd Dortus, a phedwar eraill gyd ag ef, yn perswadio 'r lliaws i gilio oddiwrth y Rhufeiniaid. Quadratus gan hynny a orchymmynodd eu dodi hwynt i farwolaeth: ond etto danfonodd ymaith Ananias yr archoffeiriad, ac Ananus llywodraethwr y deml, mewn rhwymau i Rufain, i roddi cyfrif am yr hyn a wnaethent, i Claudius Cæsar. Gorchymmynodd hefyd i'r gwŷr pennaf, o Samariaid ac Iuddewon, megis Cumanus hefyd y rhaglaw, a Celer y tribun, i fyned i Itali, at yr ymerawdwr: fel y gwrandawai efe eu hachos, a phenderfynu eu hymrafaelion â'u gilydd. Yna fe ddychwelodd i ddinas Jerusalem, oddiar ofn rhag i'r lliaws Iuddewon gynnyg rhyw wrthwynebiad arall. Ond fe gafodd y ddinas mewn cyflwr heddychlon, ac yn cadw un o * arferedig ŵyliau eu gwlad i Dduw. Felly fe hyderodd na chyfodent ddim terfysgoedd; a gadawodd hwynt yn cynnal eu gŵyl, ac a ddychwelodd i Antioch.

Yn awr Cumanus, a'r rhai pennaf o'r Samariaid, y rhai a ddanfonasid i Rufain, a gawsant ddydd wedi ei appwyntio iddynt gan yr ymerawdwr, ar ba un yr oeddynt i ddadleu eu hachos ynghylch yr ymrafael oedd rhyngddynt â'u gilydd. Ond gwŷr rhyddion Cæsar, a'i gyfeillion, oeddynt dra ymdrechgar tros Cumanus a'r Samariaid; a hwy a orchfygasent yr Iuddewon, oddieithr i Agrippa ieuangaf, yr hwn oedd y pryd hynny yn Rhufain, weled pennaethiaid yr Iuddewon ag ymosodiad trwm arnynt, a thaer ddymuno ar Agrippina, gwraig yr ymerawdwr, i berswadio ei gwr i wrando'r achos felly, fel ag y byddai yn gyttun â'i gyfiawnder; a bwrw y rhai hynny i'w cospi, y rhai yn wirioneddol oedd awdwyr y gwrthwynebiad hwn i lywodraeth y Rhufeiniaid. At yr hyn yr oedd Claudius o dueddiad mor fawr ym mlaen llaw, fel wedi iddo wrando'r achos, a chael mai'r Samariaid a fuasai yn flaenoriaid yn y drwgweithredoedd hynny; rhoddodd orchymmyn ar fod i'r rhai a ddaethai i fynu atto ef gael eu lladd; a bod i Cumanus gael ei alltudio. Gorchymmynodd hefyd i Celer, y tribun, gael ei ddwyn yn ol i Jerusalem; ei gludo trwy'r ddinas yngolwg yr holl bobl, ac yna ei ladd ef.

## PENNOD VII.

*Am appwyntiad Felix i fod yn Rhaglaw Judea; ac hefyd ymherthynas i Agrippa ieuangaf, a'i chwiorydd.*

CLAUDIUS yn awr a † ddanfonodd Felix, brawd Pallans, i gymmeryd gofal achosion Judea. Ac wedi iddo eisoes gyflawni y ddeuddegfed flwyddyn o'i deyrnasiad, rhoddodd i Agrippa dalaeth Philip, a Batanea; gan chwanegu attynt Trachonitis, gyd ag Abila, yr hon ddiweddaf a lywodraethid gynt gan Lysanias. Ond fe gymmerodd Chalcis oddiwrtho, yn ol ei llywodraethu tros bedair blynedd. A phan dderbyniodd Agrippa y gwledydd hyn megis rhoddion Cæsar, fe roddodd ei chwaer Drusilla yn briod i Azizus, brenin Emesa, ar ei gydsyniad i gael ei enwaedu. Canys Epiphanes, mab y brenin Antiochus, a wrthodasai ei phriodi hi. O herwydd ar ol iddo addaw gynt wrth ei thad i gymmeryd arno y grefydd Iuddewig, ni chwblhai yn awr yr addewid honno. Efe hefyd a roddodd Mariamne yn briod i Archelaus, mab Helcias; â'r hwn y dyweddiasid hi gynt gan Agrippa ei thad: ac oddiwrth y briodas hon y tarddodd merch, enw pa un ydoedd Bernice.

Ond priodas Drusilla ag Azizus, ym mhen ychydig amser a ddiddymwyd, ar yr achos can-

* Y Pasg.

† B. A. 53.

lynol. Tra'r oedd Felix yn rhaglaw Judea, cafodd olwg ar y Drusilla hon, ac a syrthiodd mewn cariad â hi; canys yr oedd yn rhagori ar ferched eraill mewn glendid: ac efe a ddanfonodd atti ŵr a'i enw * Simon, un o'i gyfeillion, yr hwn ydoedd yn Iuddew, ac yn Gypriad wrth enedigaeth: cymmerodd arno hefyd fod yn swynwr, ac a ymdrechodd ei pherswadio i ymadael â'i gwr presennol, a phriodi y rhaglaw: gan addaw os na ommeddai ef, y gwnai hi yn ddynes ddedwydd. Yn ganlynol hi wnaeth yn anghyfiawn: ac o herwydd ei bod yn ewyllysio gochelyd cynfigen ei chwaer Bernice, canys yr oedd yn ymddwyn yn gas tu ag atti oblegid ei harddwch, hi a ynnillwyd ganddo i droseddu cyfreithiau ei thadau, ac i brïodi Felix; ac wedi cael mab o honi, galwyd ef Agrippa. Ond y gwr ieuangc hwnnw a'i wraig a fuont feirw † yngoddeithiad mynydd Vesuvius, yn nyddiau Titus Cæsar.

Bernice a fu fyw mewn stâd o weddwdod tros hir amser yn ol marw ‡ Herod; yr hwn ydoedd yn wr iddi ac yn ewythr. Ond wedi myned o'r gair allan fod iddi gyfeillach anghyfreithlon â'i § brawd, hi a berswadiodd Polemo, brenin Cilicia, i gymmeryd ei enwaedu, a'i phriodi hi; gan feddwl trwy'r moddion hyn wrthbrofi'r enllibiau a osodasid yn eu herbyn. A Polemo a berswadiwyd i hyn, a hyny yn bennaf ar gyfrif ei chyfoeth. Etto ni lwyddodd y briodas hon yn hir. Ond Bernice a adawodd Polemo; ac fel y dywedwyd, gyd â bwriadau anghywir. Felly yntau ar unwaith a ymadawodd â'r briodas hon, ac â'r grefydd Iuddewig. Ac ar yr un pryd Mariamne a ddododd heibio Archelaus, ac a briodwyd â Demetrius, gwr pennaf ym mysg Iuddewon Alexandria, o ran ei deulu a'i gyfoeth: ac efe yn wir oedd eu llywydd y pryd hynny. Felly hi enwodd ei mab a gawsai o hono ef, Agrippinus.

## PENNOD VIII.

*Am farwolaeth Claudius Cæsar; a derchafiad a chreulondeb Nero: hefyd am yr yspeilwyr, llofruddion, a thwyllwyr a gyfododd tra yr oedd Felix a Festus yn rhaglawiaid Judea.*

YN awr|| Claudius Cæsar a fu farw, wedi teyrnasu tair ar ddeg o flynyddau, wyth mis, ac ugain o ddiwrnodiau: a sôn a aeth o amgylch mai ei wenwyno a gafodd gan ei wraig Agrippina. Ei thad ydoedd Germanicus, brawd Cæsar; a'i gwr ydoedd Domitius Ænobarbus, un o'r gwŷr ardderchoccaf yn ninas Rhufain. Ar ol marwolaeth yr hwn, a'i hir arhosiad hithau mewn gweddwdod, Claudius a'i cymmerasai iddo yn wraig. Dygodd gyd â hi fab o'r un enw a'i dad Demetrius. Darfuasai iddo cyn hyn ladd ei wraig Massalina oddiar eiddigedd, o'r hon y cawsai ei blant Britannicus ac Octavia. Ei chwaer hynaf ydoedd Antonia, yr hon a gawsai o Pelina ei wraig gyntaf. Efe hefyd a briododd Octavia â Nero; canys dyna oedd yr enw a roddodd Cæsar iddo yn ol hynny, pan fabwysiadodd ef yn fab iddo.

Yn awr yr oedd Agrippina tan ofn, rhag pan ddeuai Britannicus i oedran gwr, y byddai yn ddilynydd i'w dad yn y llywodraeth; ac a ewyllysiodd oresgyn y dywysogaeth ym mlaenllaw i'w ** mab ei hun, ar ba achos fe ddywedir iddi beri marwolaeth Cæsar. Yn ganlynol hi ddanfonodd Barrhus, blaenor y fyddin, a chyd ag ef y tribuniaid; a'r cyfryw hefyd o'r gwŷr rhyddion ag oedd yn meddu'r awdurdod fwyaf, i ddwyn Nero i'r gwersyll, a'i gyfarch yn ymerawdwr. Ac wedi i Nero fel hyn feddiannu'r llywodraeth, efe a barodd yn y fath fodd wenwyno Britannicus, na wybyddid am dano gan y lliaws; er iddo yn gyhoeddus roddi ei fam ei hun i farwolaeth ychydig ar ol hynny: gan wneud y taliad hwnnw iddi, nid yn unig am ei eni o honi, ond am ddwyn y peth felly o amgylch, trwy ei dyfais hi, fel y meddiannodd ef yr ymerodraeth Rufeinaidd. Efe hefyd a laddodd Octavia ei wraig, a llawer o rai enwog eraill, tan rith ddarfod iddynt fradwriaethu yn ei erbyn.

Ond mi adawaf heibio draethu dim ymhellach am y matterion hyn. Canys y mae llawer a

* Y Simon hwn, pa un ydoedd gyfaill Phelix, Iuddew wedi ei eni yn Cyprus, er cymmeryd arno fod yn swynwr, ac ymddangos yn annuwiol ddigon, ni allai fod yr un a'r Simon enwog hwnnw, y swynwr, yn Actau'r apostolion viii. 9. &c. fel y mae rhai yn barod i feddwl. Y Simon hwnnw a grybwyllir yn yr Actau, nid ydoedd yn briodol yn Iuddew, ond Samariad, o dref Gittæ, yngwlad Samaria. Felly yr wyf yn ei ddychymmygu yn berson gwahanol oddiwrth y llall; ar y tyb nad oedd Josephus wedi ei gam-hyspysu ymherthynas i'r Simon uchod fod yn Iuddew, genedigol yn Cyprus.

† Y torriad-allan yma o fynydd Vesuvius, ydoedd un o'r rhai mwyaf sydd gennym mewn hanes; ac mewn saith fan o hono ar unwaith. Dywedir fod eu hôl i'w weled yn amryw wana tan y ddaear hyd yn bresennol.

‡ Brenin Chalcis. § Agrippa ieuangaf. || B. A. 54. ** Nero.

gymmerasant arnynt ysgrifennu hanes Nero. Rhai o'r cyfryw a ymadawsant oddiwrth wirionedd pethau o herwydd ffafr, megis wedi derbyn budd oddiwrtho ef; tra'r oedd eraill o gasineb, a'r drwg-ewyllys oedd ganddynt tu ag atto, mor ddigywilydd yn ymgynddeiriogi i'w erbyn, fel yr haeddent yn gyfiawn eu diystyru. Ac nid wyf yn rhyfeddu at rai a adroddasant gau-hanes am Nero, pan na ddarfu iddynt yn eu 'sgrifennadau, gadw at wirionedd hanes y pethau hynny ag a fu cyn ei amser ef, pan na allai'r gweithredwyr mewn un modd haeddu eu casineb, gan fod yr ysgrifenwyr hynny yn byw ym mhell ar ol eu hamser hwynt. Ond am y cyfryw nad oes ofal ganddynt am y gwirionedd, hwy a allant ysgrifennu fel y gwelont yn dda, canys yn hynny y maent yn ymhyfrydu. Ond am danom ein hunain, megis y gosodasom y gwir yn nod i gyfeirio atto, ni a gyffyrddwn yn fyrr â'r hyn yn unig a berthyn i'r gorchwyl hwn, a'r pethau a ddigwyddodd i ni Iuddewon, gyd â chywirdeb mawr: ac ni rwgnachwn ein llafur yn rhoddi cyfrif o'r blinderau a ddioddefasom, a'r beiau a fuom yn euog o honynt. Bydd i mi yn awr gan hynny ddychwelyd at adroddiad o'n hachosion ein hunain.

Yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Nero, ar farwolaeth Azizus brenin Emesa, Soemus ei frawd a'i dilynodd yn llywodraethiad y deyrnas. Ac Aristobulus, mab Herod, brenin Chalcis, a ymddiriedwyd gan Nero â llywodraeth Armenia leiaf. Cæsar hefyd a roddodd i Agrippa ryw gyfran o Galilea, * Tiberius, a Tarichæ; gan orchymmyn iddynt ymostwng i'w awdurdod ef. Rhoddodd iddo hefyd Julias, dinas yn Perea, gyd â phedair ar ddeg o faes-drefi oedd yn gorwedd o'i hamgylch.

Yn awr matterion yr Iuddewon a dyfodd yn barhaus er gwaeth; canys y wlad a lanwyd drachefn ag yspeilwyr a hudoliaethwyr, y rhai a dwyllasant y lliaws: etto Felix a ddaliodd ac a roddodd i farwolaeth beunydd amryw o'r twyllwyr hyn, ynghyd â'r yspeilwyr. Efe hefyd a ddaliodd Eleazar, mab Dineus, yr hwn a gawsai ynghyd fintai o yspeilwyr, a hyn a wnaeth trwy ddichell. Canys rhoddasai iddo sicrwydd na ddioddefai ddim niweid, ac wrth hynny fe'i perswadiodd ef i ddyfod atto. Ond pan ddaeth fe'i rhwymodd ac a'i danfonodd i Rufain. Felix hefyd a ddygodd ddrwg-ewyllys at Jonathan, yr archoffeiriad: oblegid iddo yn † fynych ei annog i lywodraethu achosion yr Iuddewon yn well nag yr oedd yn gwneuthur; rhag i achwyniaeth gael ei wneuthur yn ei erbyn ei hun gan y lliaws; gan mai efe oedd y neb a ddymunodd ar Cæsar ei ddanfon yn rhaglaw ar Judea. Felly Felix a ddyfeisiodd ffordd trwy'r hon y gallai gael gwared o hono yn awr, wedi ei ddyfod yn fath boen iddo yn barhaus: canys y cyfryw aml rybuddion ydynt yn ofid i'r rhai a fo a'u tuedd i weithredu yn anghyfiawn. Felix gan hynny a berswadiodd un o gyfeillion ffyddlonaf Jonathan, dinesydd o Jerusalem, enw pa un oedd Doras, i ddwyn yr yspeilwyr ar warthaf Jonathan, mewn trefn i'w ladd ef. A hyn a wnaeth gyd ag addewid iddo o lawer iawn o arian. Doras a gydsyniodd â'r cynnygiad; gan drefnu matterion felly, fel y gallai'r yspeilwyr ei ladd ef yn ol y dull canlynol. Rhyw rai o'r yspeilwyr hyn a aethant i fynu i'r ddinas, fel pe buasent yn myned i addoli Duw, tra'r oedd cleddyfau byrion ganddynt tan odre eu gwisgoedd: a chan gymmysgu eu hunain â'r lliaws, hwy a laddasant Jonathan. ‡ Ac fel na ddialwyd fyth y llofruddiad hwn, yr yspeilwyr a aent i fynu ar yr ŵyl gyd â'r rhwyddineb mwyaf yr amser hwn: ac a chanddynt arfau yn guddiedig tan eu dillad megis o'r blaen, a chan ymgymmysgu eu hunain â'r lliaws, hwy a laddasant amryw o'u gelynion eu hunain, ac a oeddynt wasanaethgar i ddynion eraill am arian: a lladdasant eraill, nid yn unig ynghyrrau pellennig y ddinas, ond hefyd yn y deml ei hun. Canys yr oedd ganddynt yr hyfdra o ladd dynion yno, heb ystyried y pechodau yr oeddynt yn euog o honynt. A hyn a ymddengys fod yr achos paham y darfu i Dduw, o'i gasineb at ddrygioni y dynion yma, wrthod y ddinas hon: ac am y deml, ni chyfrifodd hi mwy yn ddigon pur iddo ei hun ei phreswylio; ond a

* Hyn a gyttuna ag amryw hanesion Josephus mewn mannau eraill o'i fywyd ei hun, fod Tiberius, Tarichæ, a Gamala, tan lywodraeth yr Agrippa hwn, nes i Justus mab Pistus, eu cymmeryd oddiar yr Iuddewon, ar dorriad allan y rhyfel.

† Gwel Act. xxiv. 25.

‡ Y llofruddiaeth fradychus a barbaraidd yma o'r Archoffeiriad daionus Jonathan, trwy ddyfais ddichellgar y rhaglaw hwn Felix, ydoedd uniawn achos y llofruddiau canlynol [illegible] Sicarii, neu ddynion creulon; ac un prif-achos o drueni [illegible] genedl Iuddewig, fel y dychymmygir gan Josephus yma: [illegible] ddrygioni y genedl honno, fel uniawn [illegible] ofnadwy, sydd deilwng o ystyriaeth pob darllenydd [illegible] Cristionogol.

barodd i'r Rhufeiniaid ein goresgyn, ac a fwriodd dân i'r ddinas i'w phuro hi; gan ddwyn caethiwed arnom, ac ar ein gwragedd a'n plant: megis â chwennychiad i'n gwneuthur yn ddoeth trwy ein trallodion.

Y gweithredodd hyn a wnaethpwyd gan yr yspeilwyr, a lanwodd y ddinas â phob math o anwiredd. Ac yn awr* twyllwyr † a hudoliaethwyr a berswadiasant y lliaws i'w dilyn hwynt i'r anialwch, gan addaw gwneuthur dangosiad iddynt o amryw ryfeddodau ac arwyddion a gyflawnid trwy ragluniaeth Duw. A llawer o'r rhai a berswadid ganddynt a ddioddefasant gospedigaeth eu hynfydrwydd: canys Felix a'u dygodd yn ol, ac yna a'u cospodd hwynt. Daeth hefyd o'r Aipht, ynghylch y pryd hwn i Jerusalem un ag a ddywedodd ei fod yn brophwyd, ac a annogodd y lliaws i fyned gyd ag ef i fynydd yr Olewydd, yr hwn oedd yn gorwedd ar gyfer y ddinas, yn y pellder o bump o 'stadau. Dywedodd ymhellach, y dangosai iddynt oddiyno y modd, ar ei orchymmyn ef y syrthiai muriau Jerusalem i lawr; ac efe a addawodd beri mynediad iddynt i mewn i'r ddinas trwy'r muriau hynny wedi y syrthient. Yn awr, pan wnaethpwyd Felix yn hyspys o hyn, efe a ddanfonodd rifedi o wŷr meirch a thraed o Jerusalem, ac a oresgynodd yr Aiphtiaid, a'r bobl oedd gyd ag ef. Lladdodd hefyd bedwar cant o honynt, a chymmerodd ddau cant yn fyw. Ond yr Aiphtiad ei hun a ddiangodd allan o'r ymladdfa, ac nid ymddangosodd mwyach. Yr yspeilwyr, pa fodd bynnag, drachefn a gynnyrfasant y bobl i wneud rhyfel â'r Rhufeiniaid; gan ddywedyd na ddylent ufuddhau oll iddynt: a phan na chydsyniai rhai â hwynt, hwythau a osodent eu pentrefi ar dân, ac a'u llwyr anrheithient.

Yn awr, ymrysoniad mawr a gyfododd rhwng yr Iuddewon oedd yn preswylio yn Cæsarea, a'r Syriaid oedd hefyd yn trigo yno, ymherthynas i'w hawl gydraddol i'r breintiau perthynol i ddinasyddion. Canys yr Iuddewon oedd yn cleimio'r blaenoriaeth; oblegid Herod eu brenin oedd adeiladwr Cæsarea; ac o herwydd ei fod wrth enedigaeth yn Iuddew. Yn awr, ni wadai'r Assyriaid yr hyn a haerid ynghylch Herod. Ond dywedasant am Cæsarea ei bod gynt tan yr enw Tŵr Strato; ac nad oedd y pryd hynny un Iuddew yn aros yno. Pan glybu llywyddion y wlad honno am yr ymryson hwn, hwy a ddaliasant yr awdwyr o honynt o bob ochr, ac a'i cospasant â gwialennodiau; a thrwy'r moddion hynny attaliasant yr aflonyddwch tros amser. Ond y dinasyddion Iuddewig yn ymorphwys ar eu cyfoeth, ac wrth hynny yn diystyru'r Syriaid, a'i gwaradwyddasant drachefn, gan feddwl eu cythruddo trwy'r cyfryw waradwyddiadau. Pa fodd bynnag, y Syriaid, er eu bod islaw iddynt mewn cyfoeth, etto gan dybied eu hunain yn wŷch ar y cyfrif hwn, sef fod y rhan fwyaf o'r milwyr Rhufeinig un ai o Cæsarea neu Sebaste; hwythau, tros ryw hyd, a roesant ddrwg-dafod i'r Iuddewon. Ac fel hyn y bu, nes o'r diwedd yr aethant i luchio cerrig y naill at y llall; ac amryw a archollwyd, ac a syrthiasant ar bob ochr; er hynny oll yr Iuddewon a orchfygodd. Ond pan welodd Felix fod yr ymrafael hwn wedi dyfod yn fath o ryfel, efe a ddaeth ar eu gwarthaf yn ddisymmwth, ac a orchymmynodd i'r Iuddewon beidio. A phan ommeddasant wneuthur hynny, efe a arfogodd ei filwyr, ac a'u danfonodd allan i'w mysg, ac a laddodd lawer o honynt, a chymmerodd eraill yn fyw: gan ganiattâu i'w filwyr anrheithio rhai o dai y dinasyddion, pa rai oeddynt lawn o drysorau. Yn awr yr Iuddewon ag oedd fwy cymmedrol, ac o uwch raddau yn eu mysg, oeddynt yn ofnus am danynt eu hunain: a hwy a ddymunasant ar Felix dynnu ei filwyr ymaith, a'u harbed rhagllaw; a rhoi lle iddynt edifarhau am yr hyn a wnaethent. A Felix a ynnillwyd i wneud felly â hwynt.

Ynghylch yr amser hwn y brenin Agrippa a roddodd yr archoffeiriadaeth i Ismael, yr hwn ydoedd fab Fabi. Ac yn awr y cyfododd ymryson rhwng yr archoffeiriaid, â'r rhai pennaf o ddinas Jerusalem; a phob plaid o honynt a gasglasant dorf o'r dynion hyfaf, a'r rhai oedd yn caru ymryson, ac a ddaethant yn flaenoriaid iddynt. A phan yndrechant â'u gilydd, gwnaethant hynny gyd â geiriau gwaradwyddus, a thaflu cerrig y naill at y llall: ac nid oedd neb i'w

---

* B. A. 55. † Am y twyllwyr Iuddewig a'r gau-brophwyd hwn, gyd ag amrywiol amgylchiadau a blinderau eraill yr Iuddewon, hyd eu dinystr diweddaf, a ragfynegwyd gan ein Hiachawdwr; gwel Gyflawniad Llythyr. y Proph. yn Saesonaeg, t. d. 58--75.

ceryddu neu eu hattal hwynt; ond eu hanhrefn a gynnyddodd mewn modd penrhydd yn y ddinas, fel pe buasai heb lywodraeth arni. A'r cyfryw oedd yr hyfdra a'r*rhyfyg a feddiannodd yr archoffeiriaid, fel y danfonasant eu gwesion i'r lloriau dyrnu i gymmeryd y degymmau oedd ddyledus i'r offeiriaid. Yn gymmaint ag y bu i'r rhai tlottaf o'r offeiriaid farw o eisiau. I'r gradd yma y tyfodd trais a gormesiad yr ymbleidwyr yn wrthwyneb i bob hawl a chyfiawnder.

Yn awr pan anfonwyd Porcius Festus † fel dilynydd i Felics gan Nero, y rhai pennaf o breswylwyr Iuddewig Cæsarea a aethant i fynu i Rufain, i gyhuddo Felix. Ac efe'n sicr a ddygasid i gospedigaeth, pe na buasai i Nero wrando ar ddeisyfiadau ei frawd Pallas, yr hwn a gyfrifid yn fwyaf anrhydeddus ganddo. Dau o wŷr pennaf y Syriaid yn Cæsarea a berswadiasant Burrus, athraw Nero, ac ysgrifenydd ei epistolau Groegaidd, trwy roddi iddo swm helaeth o arian, i ddilëu cyd-raddoliaeth yr Iuddewon o ragorfreintiau dinasol, y rhai hyd yn hyn a fwynhaent. Felly Burrus, trwy eirian dengar, a gafodd gennad gan yr ymerawdwr, ar fod i epistol gael ei ysgrifennu i'r pwrpas hwnnw. Yr epistol hwnnw a ddaeth yn achos o'r trueni canlynol a oddiweddodd ein cenedl ni. Canys wedi i'r Iuddewon o Cæsarea gael eu gwneud yn hyspys o gynnwysiad yr epistol hwn at y Syriaid, aethant yn fwy terfysglyd nag o'r blaen, nes ennynodd rhyfel rhyngddynt.

Ar ddyfodiad Festus i Judea, digwyddodd fod y wlad yn cael ei thrallodi gan yspeilwyr; pan oedd yr holl bentrefi wedi eu gosod ar dân, a'u hanrheithio ganddynt. Yna y bu ddarfod i'r Sicarii, megis y gelwid hwynt, y rhai oeddynt yspeilwyr, dyfu yn lliosog. Hwy a wnaent ddefnydd o gleddyfau bychain, heb wahaniaethu mewn hyd i acinacæ y Persiaid, ond ag ychydig o gamdra, cyffelyb i sicæ, neu grymmanau y Rhufeiniaid. Ac oddiwrth yr arfau hyn y darfu i'r yspeilwyr yma gael eu henwau; ac â hwynt y lladdasant lawer. Canys hwy a ymgymmysgent eu hunain â'r lliaws yn eu gwyliau appwyntiedig, pan ddeuent i fynu'n dorfeydd o bob cwrr i'r ddinas i addoli Duw: a hwy a laddent yn hawdd y rhai a geisient eu difetha. Hwy hefyd a fynych oresgynnent y pentrefi perthynol i'w gelynion gyd ag arfau, gan eu difrodi a'u llosgi hwynt. Felly Festus a ddanfonodd luoedd o wŷr meirch a thraed, i orddiwes y rhai a hudwyd gan ryw dwyllwr, yr hwn a addawsai waredigaeth iddynt oddiwrth y blinderau yr oeddynt tanynt, os byddai iddynt ond ei ddilyn ef cyn belled a'r anialwch. Yn ganlynol y byddinoedd anfonedig hyn, a ddifethasant yn gystal yr hudolwr, a'r rhai a'i canlynent.

Ynghylch yr un amser y brenin ‡ Agrippa a adeiladodd iddo ystafell-giniawa eang yn y tŷ-breninol yn Jerusalem, yn agos i'r borthfa. Yn awr, y palas hwn a adeiladesid gynt gan feibion Asmoneus, ac ydoedd â'i sefyllfa ar uchelder, ac yn caniattau golygfa dra hyfryd, i'r rhai a'i chwennychent, ar y ddinas. Yr olygfa hon a foddhaodd y brenin; am y gallai yno eistedd i lawr i fwytta, a chanfod yr hyn a wnelid yn y deml. Ond gwŷr pennaf Jerusalem a anfoddlonwyd yn fawr wrtho; canys nid oedd gyttun â rheolau ein gwlad a'n cyfraith, fod i'r hyn a wnelid yn y deml gael ei amlygu i eraill; yn enwedigol yr hyn a berthynai i'w haberthau. Hwy gan hynny a wnaethant fur ar yr adeilad uchaf i gyntedd tu-fewnol y deml tu a'r gorllewin. Yr hwn fur pan ei gwnaethpwyd, nid yn unig oedd yn rhwystr i olygfa'r ystafell yn y palas, ond hefyd i ystefyll-dai gorllewinol cyntedd allanol y deml hefyd; ym mha le'r arferai y gwarchawdlu Rhufeinaidd wylio'r deml ar yr ŵyl. Wrth y weithred hon, y brenin Agrippa, a Festus y rhaglaw Rhufeinig, a fawr anfoddlonwyd. A Festus a orchymmynodd iddynt dynnu y mur i lawr drachefn. Ond yr Iuddewon a ddeisyfasant arno ganiattau iddynt gael danfon cennadwri at Nero yn yr achos hwn. Canys dywedasant, na allent oddef byw, os difrodid rhyw ran o'r deml. A phan roddodd Festus iddynt gennad i hynny, danfonasant ddeg o'u pennaethiaid at Nero; ynghyd ag Ismael eu harchoffeiriad, a Helcias ceidwad y trysor cyssegredig. Ac wedi i Nero wrando'r hyn oedd ganddynt i'w ddywedyd, efe nid yn unig a faddenodd iddynt yr hyn a wnaethent; ond a ganiattaodd iddynt adael y mur a wnaethent i sefyll i fynu. Hyn a gydsyniwyd iddo

* Y drygioni yma ydoedd dra neillduol a rhyfedd; pan fyddai i'r archoffeiriaid, orthrymmu eu brodyr yr offeiriaid, yn y fath fodd ag i newynu y rhai tlottaf o honynt i farwolaeth. Gwel y cyffelyb, pen. 9. Y fath feiau anafus o gybydd-dra a gorthrymder yn yr eglwyswyr yn gystal a'r gwyr-llygol, a ganfyddir mewn amryw oesoedd.

† B, A. 59. ‡ B. A. 60.

mewn trefn i foddio Popea, gwraig Nero; yr hon oedd fenyw grefyddol, ac a ddeisyfasai y ffafr hon ganddo: yna y rhoddes hi orchymmyn i'r deg cennadon ddychwelyd i'w gwlad; eithr cadwodd Helcias ac Ismael fel gwystlon iddi ei hun. Cyn gynted ag y clybu y brenin hyn, rhoddodd yr archoffeiriadaeth i Joseph, yr hwn a elwid Cabi, fab Simon, yr hwn gynt a fuasai yn archoffeiriad.

## PENNOD IX.

*Ymherthynas i Albinus, tan lywodraethiad pa un y lladdwyd Iago; hefyd am yr adeiladau a wnaethpwyd gan Agrippa.*

YN awr Cæsar, wedi clywed am farwolaeth Festus a ddanfonodd Albinus i Judea yn rhaglaw. Ond y brenin a ddifeddiannodd Joseph o'r archoffeiriadaeth, ac a ganiattaodd ddilyniad yr uchel-fraint honno i fab Ananus, yr hwn hefyd a elwid Ananus. Yn awr fe sonir fod yr Ananus hynaf hwn mewn amgylchiad dedwyddol. Canys yr ydoedd iddo bump o feibion, y rhai oll a gyflawnasent swydd archoffeiriaid i Dduw; ac efe ei hun a fwynhasai gynt yr uchel-fraint honno tros hir amser, yr hyn ni ddigwyddasai i neb eraill o'n harchoffeiriaid. Ond yr Ananus ieuangaf hwn, pa un a gymmerodd yr archoffeiriadaeth, ydoedd ŵr hŷf o ran ei dymmer, ac o drahaustra mawr. Yr ydoedd efe hefyd o sect y * Saduceaid, y rhai hefyd yn llym-dost a farnent droseddwyr, tu hwnt i bawb eraill o'r Iuddewon, fel y † sylwiasom o'r blaen. Pan oedd Ananus gan hynny o'r tuedd hwn, meddyliodd fod ganddo gyfleusdra fanteisiol i arfer ei awdurdod. Festus oedd yn awr wedi marw, ac Albinus yn unig ar ei daith o Rufain. Felly fe gasglodd y sanhedrim o farnwyr ynghyd, ac a ddygodd o'u blaen frawd yr Iesu yr hwn a elwid Crist, enw pa un oedd Iago, a rhai o'i gymdeithion. Ac wedi iddo osod cyhuddiadau i'w herbyn fel torwyr y gyfraith, efe a'u traddododd hwynt i'w llabuddio. Ond am y rhai a ymddangosent o fwyaf uniondeb ym mysg y dinasyddion, a'r fath ag ydoedd anesmwythaf wrth rwygiad y cyfreithiau, hwy a anfoddlonasant i'r hyn a wnaethid. Danfonasant hefyd at frenin Agrippa, i ddymuno arno ddanfon at Ananus na wnelai felly ddim mwy: am na ellid cyfiawnhau yr hyn a wnaethai eisioes. ‡ Ië, rhai o honynt a aethant i gyfarfod Albinus, fel yr ydoedd ar ei daith o Alexandria; gan hyspysu iddo nad oedd gyfreithlon i Ananus i gynnull ynghyd y sanhedrim heb ei gydsyniad ef. Ar hyn Albinus a gydunodd â'r hyn a ddywedent, ac a ysgrifenodd mewn digter at Ananus, gan fygythio cospedigaeth arno am yr hyn a wnaethai. Am ba achos y brenin Agrippa a gymmerodd yr archoffeiriadaeth oddiwrtho, wedi iddo reoli dim ond tri o fisoedd; ac a wnaeth Jesus, fab Damneus yn archoffeiriad.

Yn awr, cyn gynted ag y daeth Albinus i ddinas Jerusalem, efe a arferodd bob ymdrechiadau a gofal i gadw'r wlad yn heddychlon, a hynny trwy ddifetha llawer o'r Sicarii. Ond am yr archoffeiriad Ananias, efe a gynnyddodd mewn mawredd bennydd; ac a feddiannodd barch a ffafr y dinasyddion mewn modd godidog, a thrysorodd lawer o arian. Efe gan hynny a ynnillodd gymdeithas ag Albinus, a'r archoffeiriad Jesus, trwy wneuthur anrhegion iddynt. Yr ydoedd iddo hefyd weision, y rhai oeddynt dra annuwiol; a'r rhai a ymgyssylltent eu hunain â'r fath mwyaf rhyfygus o ddynion; gan fyned i'r lloriau-dyrnu, a chymmeryd ymaith y degymmau, trwy drais, a berthynai i'r offeiriaid: ac ni ymattaliasant rhag ammherchi y sawl na roddai y degymmau iddynt. Felly yr archoffeiriad arall a wnaeth yn yr un modd, fel ag y gwnaeth ei weision hefyd, heb neb yn gallu eu gwahardd hwynt. Felly rhai o'r offeiriaid, ag a arferai gynt gael eu cynnal â'r degymmau hyn, a fuont feirw o eisiau lluniaeth.

Ond yn awr y Sicarii a aethant i'r ddinas liw nos, ychydig cyn yr ŵyl, yr hon ydoedd gerllaw, a chymmerasant yr ysgrifenydd perthynol i lywodraethwr y deml, a elwid Eleazer, yr hwn oedd fab Ananias yr archoffeiriad, gan ei rwy-

* Ymddengys yn eglur oddi yma, y gallai'r Saduceaid fod yn archoffeiriaid yn nyddiau Josephus: ac yr arferai yr archoffeiriaid hynny â bod yn farnwyr llym ac anymbilgar; tra'r oedd y Phariseaid yn fwy tyner a thrugarog, fel y mae Reland yn arwyddo yn ei nod ar y lle hwn. Ac nid ydym yn cyfarfod â neb rhyw Saduceaid diweddarach na'r archoffeiriaid yma yn holl waith Josephus.

† Llyfr xiii. pen. 10.

‡ Am gondemniad Iago y cyfiawn, a'r achosion o hono; megis hefyd na fu farw hir amser ar ol hynny, gwel yn saesonaeg Prim. Christ. Revived, Llyfr III. t. d. 43--46. Y sanhedrim a gondemniodd ein Hiachawdwr; ond ni allent ei roddi i farwolaeth, heb gydsyniad y rhaglaw Rhufeinaidd. Ac ni allai Ananias a'i sanhedrim wneud yn rhagor yma. Gan na chawsent gydsyniad Albinus i roddi'r Iago hwn i farwolaeth.

mo a'i ddwyn ymaith gyd â hwynt. Danfonasant ar ol hynny at Ananias, ac a ddywedasant y donfonent yr ysgrifenydd iddo, os perswadiai Albinus i ryddhau deg o'r carcharorion a ddaliasai o'i plaid hwynt. Felly Ananias ydoedd yn rhwym i berswadio Albinus, ac a gafodd ei ofyniad ganddo. Dyma a fu ddechreuad blinderau mawrion. Canys yr yspeilwyr yn wastadol a ddyfeisient ffordd i ddala rhai o weision Ananias; a phan gymmerent hwy yn fyw ni adawent iddynt fyned ymaith, nes iddynt wrth hynny adferyd rhai o'i Sicarii eu hunain. Ac fel yr oeddynt drachefn wedi tyfu yn lliosog, hwy a aethant yn hyfion, ac yr oeddent o flinder mawr i'r holl wlad.

Ynghylch y pryd hwn y brenin Agrippa a adeiladodd Cæsaræa Philippi yn helaethach nag oedd o'r blaen; ac o anrhydedd i Nero, galwodd hi Neronias. A phan adeiladodd chwareudy yn Berytus ar draul mawr, trefnodd ynddo olwgfeydd i'w dangos bob blwyddyn, ac a wariodd yn hynny amryw filoedd drachmæ. Efe hefyd a roddodd i'r bobl fesur mawr o ŷd, gan ei ddosparthu rhyngddynt oll; ac a addurnodd y ddinas â lluniau o'i rodd ei hun, ac â delwau hynafiaethol o gywreinwaith yr oesoedd gynt. Ië, fe symmudodd yn dra agos yr holl bethau addurniadol oedd yn ei deyrnas ei hun i'r lle hwn. Hyn a'i gwnaeth yn fwy nâ chyffredin gâs gan ei ddeiliaid; am gymmeryd o hono ymaith y pethau a berthynai iddynt hwy, i harddu gwlad ddieithr. Ac yn awr Jesus, mab Gamaliel, a ddaeth yn ddilynydd Jesus mab Damneus, yn yr archoffeiriadaeth, yr hon a gymmerasai'r brenin oddiwrth y llall. Ar y cyfrif hwn ymraniad a gyfododd rhwng yr archoffeiriaid ymherthynas i'w gilydd; canys hwy a gasglasant ynghyd gyrph o ddynion hyfion, a mwyaf eu hantur; ac yn fynych a ddaethant o waradwyddiadau i luchio cerrig y naill at y llall. Ond Ananias ydoedd ry gadarn i'r lleill o herwydd ei gyfoeth; yr hyn a'i galluogodd i ddewis y rhai a fyddai barottaf i ymdrechu o'i blaid ef. Costobarus hefyd a Saulus a gafodd ynghyd liaws o'r dynion gwaethaf; a hynny oblegid eu bod o'r teulu breninol; ac felly hwy a gawsant ffafr yn eu mysg ar gyfrif eu perthynas i Agrippa. Ond etto'r oeddynt yn arferyd trais tu tu at y bobl, ac yn dra pharod i anrheithio rhai gwannach na hwynt eu hunain. Ac o'r amser hwnnw daeth yn fwyaf cyffredin o amgylch, fod ein dinas ni mewn annhrefn mawr; a bod pob peth yn myned waeth-waeth yn ein mysg.

Ond pan glybu Albinus fod Gessius Florus yn dyfod yn ei le ef; yr ydoedd yn ewyllysio ymddangos yn gwneuthur rhyw beth a fyddai boddlongar gan drigolion Jerusalem.* Felly fe ddygodd allan yr holl garcharorion a ymddangosai iddo ef fod yn fwyaf haeddiannol o farwolaeth, ac a orchymmynodd eu dihenyddio hwynt yn gaulynol. Ond am y rhai a roddasid yngharchar ar ryw achosion bychain, efe a gymmerodd arian ganddynt, ac a'u gollyngodd ymaith; trwy ba foddion yr arlloeswyd y carcharau; ond y wlad a lanwyd o yspeilwyr.

Yn awr cynnifer o'r † Lefiaid ag oedd yn gantorion hymnau, a berswadiasant y brenin i gynnull sanhedrim; a rhoddi o hono hawl iddynt hwy i orchuddio eu hunain â gwisgoedd o liain meinwych fel yr offeiriaid: a dywedasant fod hyn yn waith teilwng o'i ofal, fel y byddai yn goffadwriaeth o'r drefn a osodasai efe. Ac ni fethodd ganddynt gael eu dymuniad. Canys y brenin, trwy farn y rhai a ddaethant i'r sanhedrim, a ganiattaodd i'r cantorion hymnau y rhagorfraint hon; fel y dodent o'r neilldu eu gwisgoedd gynt, ac yr ymwisgent â lliain o'r fath ag a ddymunent. Ac fel yr oedd rhan o'r llwyth yma yn gweini yn y deml, caniattaodd iddynt hefyd ddysgu yr hymnau hynny a ddeisyfiasent ganddo ef. Yn awr hyn oll ydoedd wrthwyneb i gyfreithiau ein gwlad; y rhai pa bryd bynnag y troseddid hwynt, ni buom fyth yn alluog i ochelyd y gosp am y fath droseddiadau.

Ac yn awr y bu gorpheniad y deml: felly pan welodd y bobl fod y gweithwyr, y rhai oeddynt uwchlaw deunaw mil, yn ddi-waith; ac â hwy, heb derbyn dim cyflog, yn aros mewn eisieu; am eu bod yn cael eu bara wrth eu llafur o amgylch y deml: a phan oedd y blaenoriaid heb ewyllysio cadw yn eu hymyl y trysorau oedd yno wedi eu dodi i fynu, rhag ofn eu cymmeryd ymaith gan y Rhufeiniaid: a phan oeddynt yn gofalu

* B. A. 63.

† Yr ymddygiad trahaus hwn o rai o'r Lefiaid, ynghylch caniattad i arferyd gwisgoedd offeiriadol wrth ganu hymnau i Dduw, yn y deml, ydoedd, ysgatfydd, a'r gyfrif darostyngiad mawr, a diystyrwch yr archoffeiriaid beilchion o'u brodyr yr offeiriaid. Am hyn gwel pen. 8, 9.

am gynhaliaeth i'r gweithwyr; yr oedd dymuniad ganddynt i wario'r trysorau arnynt hwy. Canys os byddai i ryw un o honynt lafurio yno ond un awr, efe a dderbyniai ei gyflog yn ebrwydd. Felly hwy a'i perswadiasant i ail-adeiladu yr ystafell-dai dwyreiniol, y rhai a berthynent i'r cyntedd oddiallan, ag ydoedd a'u sefyllfa mewn pant-le dwfn, i ba rai yr oedd murian yn cyrraedd pedwar can cufydd o hyd; wedi eu gwneud o feini pedwar-ongl, ac yn dra gwynion: hyd pob un o ba feini ydoedd ugain cufydd, a'u trwch yn chwech o gufyddau. Hwn ydoedd fesur gwaith y brenin Solomon, yr hwn gyntaf a adeiladodd yr holl deml hon. Ond y brenin Agrippa, yr hwn oedd ganddo ofal y deml wedi ei ymddiried iddo gan Claudius Cæsar, yn ystyried mai hawdd ydoedd tynnu i lawr unrhyw adeilad, ond anhawdd ei chyfodi drachefn; a'i fod yn neillduol anhawdd ei wneuthur i'r ystafell-dai hyn; pa ryw waith a ofynnai lawer o amser, a mesur mawr o arian; felly fe ommeddodd y deisyfwyr o'r gofyniad hwn mewn perthynas iddo. Ond ni rwystrodd eu hamcan hwynt, pan ddymunasant gael palmantu y ddinas â cherrig gwynion. Efe hefyd a ddifuddiodd Jesus, fab Gamaliel, o'r archoffeiriadaeth, ac a'i rhoddodd i Matthias, mab Theophilus, tan ba un y cymmerodd y rhyfel â'r Rhufeiniaid ei ddechreuad.

## PENNOD X.

*Am rifedi yr Archoffeiriaid.*

YN awr yr ydwyf yn ei dybied yn briodol a chyttunol â'r gwaith hwn i roddi cyfrif o'n harchoffeiriaid; pa fodd y dechreuasant; a pha fath rai ydynt ag sy'n addas i'r swydd urddasol honno: a pha gynnifer o honynt a fuasai hyd ddiwedd y rhyfel. Yn y lle cyntaf gan hynny y mae hanes yn hyspysu i ni ddarfod i Aaron, brawd Moses, gyflawni swydd archoffeiriad ger bron Duw: ac mai ar ol ei farwolaeth ef, ei ddilyn yn ddi-gyfrwng gan ei feibion; a darfod i'r uchelfraint hon barhau i darddu i lawr i'w holl hiliogaeth.

Oddiwrth yr hyn y daeth yn ddefod ein gwlad, na byddo i neb gymmeryd arno archoffeiriadaeth Duw, ond yr hwn sydd o waed Aaron: tra mae pob un ag sydd o lin arall, er iddo fod yn frenin, yn analluog i fwynhau yr archoffeiriadaeth honno. Yn ganlynol, rhifedi yr holl archoffeiriaid er Aaron, am yr hwn y crybwyllasom eisoes, megis am y cyntaf o honynt, hyd Phanas, yr hwn a wnaed yn archoffeiriad yn amser y rhyfel, gan yr ymbleidwyr, ydoedd dri a phedwar ugain. O'r rhai hyn tri ar ddeg a wasanaethasant fel archoffeiriaid yn yr anialwch, er dyddiau Moses, tra'r oedd y tabernacl yn sefyll, nes dyfod y bobl i Judea, pan ddarfu i'r brenin Solomon adeiladu tŷ i Dduw. Ond ar y cyntaf hwy a feddianent yr archoffeiriadaeth hyd ddiwedd eu bywyd; er yn ol hynny eu cyfnewid hwynt tra fyddent byw. Yn awr y tri ar ddeg hynny, y rhai a ddisgynent oddiwrth ddau fab Aaron, a dderbyniasant yr uchelfraint hon y naill ar ol y llall; canys eu ffurf o lywodraeth ydoedd yr un bendefigaidd, ac wedi hynny yr unbennaeth. Yn awr, rhifedi y blynyddoedd yn oed rheolaeth y tri ar ddeg hyn, er dydd ymadawiad y tadau allan o'r Aipht, tan Moses eu harweinydd, hyd adeiladaeth y deml gan Solomon yn Jerusalem, oeddynt chwe' chant a deuddeg. Ar ol y tri ar ddeg o archoffeiriaid hyn, deunaw a gymmerodd yr archoffeiriadaeth yn Jerusalem, y naill yn olynol i'r llall, o ddyddiau y brenin Solomon, hyd Nebuchodonozor brenin Babilon; yr hwn a wnaeth ymgyrch yn erbyn y ddinas honno, gan losgi'r deml, a chaeth-gludo ein cenedl i Babilon, ac yna a gymmerodd Josadec yr archoffeiriad yn gaeth-was. Amser yr archoffeiriaid hyn ydoedd bedwar cant a chwech a thrugain o flynyddau, chwe mis, a deg o ddiwrnodiau; pan oedd yr Iuddewon o hyd tan y llywodraeth frenhinol. Ond ar ol yspaid y deng mlynedd a thrugain o gathiwed tan y Babiloniaid; Cyrus, brenin Persia, a ddanfonodd yr Iuddewon o Babilon i'w gwlad eu hunain drachefn, ac a roddes gennad iddynt i ail-adeiladu eu teml. Ar yr amser hwn Jesus, mab Josadec, a gymmerodd yr archoffeiriadaeth tros y caethion, wedi dychwelyd adref. Yn awr, efe a'i hiliogaeth, y rhai oeddynt oll yn bymtheg, hyd amser y brenin Antiochus Eupator, oeddynt tan werin-lywodraeth, tros bedwar cant, a phedair ar ddeg o flynyddau. Ac yna'r Antiochus rhagddywededig, a Lysias blaenor ei fyddin, a ddi-feddiannodd Onias, yr hwn a elwid hefyd Menelaus, o'r archoffeiriadaeth, ac a'i lladdodd ef yn Berea: a chan yrru ymaith fab Onias y trydydd, a

osododd Jacimus yn yr archoffeiriadaeth yn ei le: un ag ydoedd yn wir o lin Aaron, ond nid o'r teulu hwnnw i Onias. Ar y cyfrif hwnnw Onias, yr hwn oedd nai yr Onias a fuasai farw, ac oedd yn dwyn yr un enw a'i dad, a ddaeth i'r Aipht, ac a ddaeth mewn cyfeillach â Ptolemy Philometor, ac â Cleopatra ei wraig; ac a'u perswadiodd hwynt i'w wneud yn archoffeiriad y deml a adeiladasai i Dduw yn llywodraeth Heliopolis, a hon mewn cyffelybiaeth i'r un hynny yn Jerusalem. Ond am y deml honno a adeiladwyd yn yr Aipht, nyni a grybwyllasom yn * fynych eisoes. Yn awr, wedi i Jacimus gadw'r archoffeiriadaeth dair blynedd, efe a fu farw; ac nid oedd un a'i dilynodd ef. Ond y ddinas a barhaodd saith mlynedd heb un archoffeiriad. Ond yna hiliogaeth meibion Asmoneus, y rhai oedd â llywodraeth y genedl wedi ei gorchymmyn iddynt; wedi gorchfygu y Macedoniaid mewn rhyfel, hwy a appwyntiasant Jonathan i fod yn archoffeiriad iddynt, yr hwn a reolodd yn eu mysg saith mlynedd. Ac wedi ei ladd trwy ddyfais fradwriaethus Trypho, fel yr adroddasom,† Simon ei frawd a gymmerodd yr archoffeiriadaeth: a phan ddifethwyd ef mewn gwledd trwy ddichell-frad ei fab-ynghyfraith; ei fab ei hun, a enwid Hyrcanus, a'i dilynodd ef, yn ol meddiannu o hono'r archoffeiriadaeth yn hwy na'i frawd o un flwyddyn. Yr Hyrcanus hwn a fwynhaodd yr uchelfraint honno ddeng mlynedd ar hugain, ac a fu farw yn hen wr; gan adael y dilyniad i Judas, yr hwn a elwid hefyd Aristobulus; a'i frawd Alexander oedd ei etifedd. Judas a fu farw o glefyd blin, yn ol cynnal o hono'r archoffeiriadaeth ynghyd â'r awdurdod frenhinol. Canys y Judas hwn oedd y cyntaf a roddodd goronbleth ar ei ben, tros un flwyddyn. Ac wedi bod Alexander yn frenin ac archoffeiriad saith mlynedd ar hugain, efe a ymadawodd â'r bywyd hwn; ac a ganiattaodd i'w wraig Alexandra i appwyntio yr un a fyddai i fod yn archoffeiriad. Felly hi roddodd yr archoffeiriadaeth i Hyrcanus: ond a gadwodd y deyrnas iddi ei hun naw mlynedd, ac yna hi fu farw. Y cyffelyb amser, a dim yn hwy, y darfu i'w mab Hyrcanus fwynhau yr archoffeiriadaeth: canys ar ol ei marwolaeth hi, ei frawd Aristobulus a ymladdodd yn ei erbyn, ac a'i difeddiannodd o'i dywysogaeth; ac efe ei hun a deyrnasodd, ac a gyflawnodd swydd archoffeiriad. Ond wedi iddo deyrnasu tair blynedd, a chynnifer o fisoedd, Pompey a ddaeth ar ei warthaf ef; ac nid yn unig fe gymmerodd ddinas Jerusalem trwy drais, ond a'i dododd ef a'i blant mewn rhwymau, ac a'u danfonodd i Rufain. Efe hefyd a adferodd yr archoffeiriadaeth i Hyrcanus, ac a'i gwnaeth ef yn llywydd ar y deyrnas: ond a waharddodd iddo wisgo coronbleth. Yr Hyrcanus hwn a lywodraethodd, heblaw ei naw mlwydd cyntaf, bedair ar hugain o flynyddau yn rhagor; pan y daeth Barzapharnes a Pacorus, blaenoriaid byddin y Parthiaid, tros Euphrates, ac yr ymladdasant â Hyrcanus, ac a'i cymmerasant yn fyw; a hwy a wnaethant Antigonus, fab Aristobulus yn frenin. Ac wedi iddo deyrnasu tair blynedd a thri mis, Sosius a Herod a warchaeodd arno, ac a'i cymmerasant ef; pan orchymmynodd Antony ei ddwyn i Antioch, a'i ladd yno. Yna Herod a wnaethpwyd yn frenin gan y Rhufeiniaid: ond ni wnaeth mwyach archoffeiriaid o deulu'r Asmoneaid; ond a osododd rai i wasanaethu y swydd honno heb fod o un teulu enwog; ond yn unig o rai ag oedd yn offeiriaid; oddieithr iddo unwaith drefnu y fraint honno i Aristobulus. Canys wedi iddo wneuthur Aristobulus yn archoffeiriad, yr hwn oedd ŵyr Hyrcanus a gymmerasid gan y Parthiaid, ac wedi cymmeryd ei chwaer Mariamne iddo yn wraig, efe trwy hynny a amcanodd ynnill ewyllys da y bobl, y rhai oedd ganddynt goffadwriaeth garedig o'i daid Hyrcanus. Etto efe ar ol hynny oddiar ofn, rhag gogwyddo o honynt oll at Aristobulus, ei ddodi i farwolaeth: a hynny trwy ddyfeisio ei foddi ef, fel yr oedd yn nofio yn Jericho, fel yr adroddasom ‡ o'r blaen. Ond ar ol y dyn hwn nid ymddiriedodd fyth am yr archoffeiriadaeth i feibion Asmoneus. Archelaus hefyd, mab Herod, a wnaeth yn gyffelyb i'w dad yn appwyntiad yr archoffeiriaid: fel ag y gwnaeth y Rhufeiniaid hefyd, y rhai a gymmerasant y llywodraeth ar yr Iuddewon i'w dwylaw eu hunain ar ol hynny. Yn ganlynol, nifer yr archoffeiriaid er dyddiau Herod, hyd y dydd y cymmerodd Titus y deml a'r ddinas, ac a'u llosgodd hwynt,

* Gwel Llyfr xii. 9. xiii. 3, 10. † Llyfr xiii. 6 ‡ Llyfr. xv. pen. 3.

ydoedd oll yn wyth a'r hugain. Yr amser perthynol iddynt hwy hefyd ydoedd gant a saith o flynyddau. Rhai o honynt oedd lywodraethwyr yn y wladwriaeth tan deyrnasiad Herod ac Archelaus ei fab: er yn ol eu marwolaeth hwynt gyfnewid y llywodraeth yn bendefigaidd; a'r archoffeiriad a ymddiriedid ag arglwyddiaeth ar yr holl genedl. A hyn a all wasanaethu yn ddigonol mewn perthynas i'n harchoffeiriaid.

## PENNOD XI.

*Ymherthynas i Florus y Rhaglaw, yr hwn a gynhyrfodd yr Iuddewon i gymmeryd i fynu arfau yn erbyn y Rhufeiniaid.*

YN awr Gessius Florus, yr hwn a ddanfonwyd i gymmeryd lle Albinus gan Nero, a lanwodd Judea â digonedd o drueni. Yr oedd efe wrth enedigaeth o'r ddinas Clazomenæ, yr hwn a ddygodd gyd ag ef ei wraig Cleopatra, trwy gyweithasrwydd pa un â Poppea, gwraig Nero, y meddiannodd y llywodraeth, a'r hwn nid ydoedd mewn un wedd yn wahaniaethol iddo mewn drygioni. Y Florus hwn ydoedd mor erwin yngweinyddiad ei awdurdod, fel ag yr oedd yr Iuddewon yn ystyried Albinus, mewn cymmariaeth iddo ef, megis eu cymmwynaswr; mor anghymmedrol oedd y drygau a ddygodd arnynt hwy. Canys Albinus a guddiai ei ddrwg-weithredoedd, a chymmerodd ofal na ddangosid hwynt i bawb. Ond Gessius Florus, megis pe buasai wedi ei ddanfon yn bwrpasol i ddangos ei feïau i bob dynion, a wnaeth ymffrost gorwag o honynt i'n cenedl ni, heb olygu ei fod yn arfer dim trais neu gosp anghyfiawn: canys ni chynhyrfid ef gan dosturi, ac ni foddlonid ef â dim graddau o elw a ddeuai yn ei ffordd. Ac ni phrisiai fwy mewn llawer nag ychydig gyrhaeddiadau o hono, ond a ddaeth yn gyfrannog â'r yspeilwyr eu hunain. Canys nifer mawr a gwympodd i'r arferiad hwnnw yn ddi-ofn, gan gael o honynt ef yn achleswr iddynt; a chan ymddibynnu arno am eu hamddiffyn hwynt, a'u cadw rhag niweid oddiwrth y trosedd o yspeilio. Felly nid oedd terfyn wedi ei osod i'r drygau oedd o fewn y deyrnas; ond yr Iuddewon annedwydd, pan na allant oddef yr anrhaith ag oedd yr yspeilwyr yn ei wneuthur yn eu mysg, oeddynt oll tan yr angenrheidrwydd o adael eu trigfannau eu hunain, a ffoi ymaith; gan obeithio byw yn llonyddach mewn rhyw fan ym mysg dieithriaid, nag yn eu gwlad eu hunain. A pha angenrheidrwydd sydd i mi ddywedyd ychwaneg ar y pen hwn, gan mai y Florus yma a ddododd arnom angenrheidrwydd i gymmeryd i fynu arfau yn erbyn y Rhufeiniaid: pan feddyliasom yn well i ni gael ein difetha ar unwaith, nag o fesur ychydig ac ychydig. Yn awr y rhyfel hwn a ddechreuodd yn yr ail flwyddyn o lywodraethiad Florus, a'r ddeuddegfed flwyddyn o deyrnasiad Nero. Ond yna pa ryw fath weithredoedd a wnaethpwyd i ni eu cyflawni, neu pa ryw drueni a allasom ei ddwyn, a wybyddir yn helaeth gan y rhai a ddarllenant y llyfrau hynny, a 'sgrifenais ynghylch y rhyfel Iuddewig.

Myfi gan hynny a derfynaf yma ar fy hynafiaethau; yn ol diweddu pa ryw ddamweiniau, y dechreuais ysgrifennu hanes y rhyfel. A'r hynafiaethau hyn a gynnwys y pethau a draddodwyd i lawr i ni er creadigaeth cyntaf dyn, hyd y ddeuddegfed flwyddyn o deyrnasiad Nero; ymmherthynas i'r hyn a ddigwyddodd i ni Iuddewon, yn gystal yn yr Aipht a Syria, ac yn Palestina; a'r hyn a ddioddefasom oddiwrth yr Assyriaid a'r Babiloniaid, a pha drallodion a ddygodd y Persiaid a'r Macedoniad, ac ar eu hol hwynt y Rhufeiniaid arnom ni: canys mi dybiaf y gallaf ddywedyd gyfansoddi o honof yr hanes hwn gyd â manylrwydd digonol ymmhob peth. Anturiais wneuthur cyfrifiad o'r archoffeiriaid a fu gennym tros yspaid dwy fil o flynyddau. Dygais i lawr hefyd olyniad ein brenhinoedd, ac adroddais eu gweithredoedd a'u gweinyddiad gwladol, heb ddim cyfeiliornadau o bwys; ynghyd â galluogrwydd ein brenhinoedd; a'r cwbl yn gyttunol â'r hyn sydd ysgrifennedig yn ein llyfrau cyssegrol: canys hyn ydoedd y peth a addewais ei wneuthur yn nechreuad yr hanesiad hwn. Ac yr wyf mor hŷf a dywedyd, yn awr wedi cwbl berffeithio y gwaith a amcenais i'm fy hun ei wneuthur, na allasai neb arall, pa un bynnag a fyddo ai Iuddew neu ddieithr-ddyn, er bod ganddo dueddrwydd mawr at hynny, draddodi mor eglur yr hanesion hyn i'r Groegiaid ag y gwneir yn y llyfrau presennol: canys y rhai o'm cenedl fy hun a addefant yn rhwydd, fy mod yn rhagori ym mhell arnynt yn y ddysgeidiaeth berthynol

i'r Iuddewon. Cymmerais hefyd lawer o boen i feddiannu dysg y Groegiaid; ac a ddeallaf elfennau yr iaith Roeg mewn manyldra digonol; er yr un pryd fy mod wedi arfer ein iaith ein hunain cyhyd, fel na's gallaf lefaru Groeg gyd â chywirdeb sicr. Canys nid yw ein cenedl ni yn rhoddi annogaeth i ddysgu ieithoedd amryw genedlaethau eraill; ac i addurno ein hymddiddanion â llyfndra eu tafodieithoedd hwynt; oblegid eu bod yn edrych ar y darpariad yma fel peth cyffredin; nid yn unig i bob gwŷr-rhyddion, ond hefyd i gynnifer o gaethweision ag a'u dysgo hwynt. Ond ein pobl ni a dystiant yn ddoeth y neb a fyddo'n gwbl gyfarwydd yn ein cyfreithiau, ac yn allnog i ddeongli eu hystyr hwynt.

Bydd i mi yn awr ddiweddu yr hynafiaethau hyn, y rhai a gynnwysir mewn ugain o lyfrau, a thrugain mil o adnodau. Os caniattâ * Duw, mi redaf yn fyrr tros y rhyfel hwn drachefn, gyd â'r hyn a ddigwyddodd i ni ynddo hyd y dydd presennol; pa amser yw y drydydd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Cæsar Domitian, a'r bymthegfed flwyddyn a deugain o'm hoed fy hun. Y mae gennyf fwriad hefyd i ysgrifennu tri llyfr ymherthynas i'r tybiau Iuddewig ynghylch Duw, a'i hanffod; ac hefyd am ein cyfreithiau: pa ham, yn gyttunol â hwynt-hwy, y caniatteir rhai pethau i ni eu gwneuthur, ac y gwaherddir eraill.

* Yr hyn y mae Josephus yma yn amlygu fod yn ei amcanu ei wneuthur, os caniattai Duw, ni sonir gan neb am dano, mor bell ag y deallaf fi: ac ni chlywn yn un man arall, pa un a gwblhaodd yr hyn yr oedd yn ei fwriadu yn awr, neu beidio. Fe'm tueddir yn hytrach i feddwl na chyhoeddodd y fath waith oll ag ail-olygiad y rhyfel, yn wahanol oddiwrth hanes ei fywyd, a ysgrifenwyd ganddo ei hun; a hynny o leiaf saith mlynedd wedi gorphen yr Hynafiaethau hyn. Marwolaeth ei ewyllyswyr da yn llys Rhufain, Vespasian, Titus, a Domitian; a dyfodiad y rhai nad oedd ganddo ddim cydnabyddiaeth â hwynt i feddiannu'r goron, sef Nerva a Trajau; ynghyd a'i symmudiad o Rufain i Judea, a'r hyn a ganlynodd, a allai yn hawdd rwystro ei amcanion, a'i luddias i gyhoeddi unrhyw waith arall a fwriadodd.

DIWEDD HYNAFIAETHAU YR IUDDEWON.

Y

# RHYFEL IUDDEWIG,

NEU

# HANES DINYSTR JERUSALEM.

---

## RHAGYMADRODD.

FEL ag yr oedd * y Rhyfel a wnaethpwyd gan yr Iuddewon â'r Rhufeiniaid, yn fwyaf o'r holl Ryfeloedd, nid yn unig a fu yn ein hamserau ni, ond, mewn ystyr, o'r rhai a glybuwyd am danynt erioed; megis pan ymladdodd dinasoedd yn erbyn dinasoedd, a chenhedloedd yn erbyn cenhedlaethau: a rhai dynion nad oedd ganddynt ddim perthynas â'r matterion eu hunain, a gasglasant ynghyd wâg a gwrthwyneb hanesion oddiar sôn yn unig, ac a'u 'sgrifennasant i lawr mewn modd cyfrwysgall; ac wedi darfod i eraill ag oedd yn bresennol roddi gau-hanes o bethau, a hynny un ai o weniaeth i'r Rhufeiniaid, neu gasineb at yr Iuddewon: a thra mae eu 'sgrifennadau yn cynnwys weithiau achwynion, ac waith arall ganmoliaethau, ac na chynnwysant mewn un wedd yr iawn wirionedd o amgylchiad y rhyfel hwnnw: cynnygiais i'm fy hun, er mwyn y rhai sy'n byw tan lywodraeth y Rhufeiniaid, i gyfieithu y llyfrau hynny i'r iaith Roeg, y rhai a ysgrifennais gynt yn iaith ein gwlad ein hunain, i'w hanfon i'r barbariaid † uchaf. Myfi Joseph, fab Matthias, wrth enedigaeth yn Iuddew, ac offeiriad; ac un yn gyntaf a ymladdais yn erbyn y Rhufeiniaid fy hun, ac a'm rhwymwyd i fod yn bresennol wrth yr hyn a wnaethpwyd yn ol hynny, ydwyf awdwr y gwaith hwn.

Yn awr yr amser y digwyddodd yr ysgydwad mawr hwn ar lywodraethau, yr oedd matterion y Rhufeiniaid mewn annhrefn. Yr Iuddewon hynny hefyd y rhai oedd am adnewyddiad llywodraeth, a gyfodasant ar derfysgiad yr amserau: yr oeddynt hefyd mewn cyflwr blodeuog o ran eu nerth a'u cyfoeth. Yn gymmaint ag yr oedd achosion y Dwyrain y pryd hynny yn dra therfysglyd; pan oedd rhai yn gobeithio am elw, ac eraill yn ofni colledion yn y fath derfysgau. Canys yr Iuddewon a obeithiasant y byddai i'w cenedl y tu hwnt i Euphrates gyfodi gwrthryfel, ynghyd â hwynt-hwy. Y Gauliaid hefyd, ynghymmydogaeth y Rhufeiniaid, oeddynt yn ymgynhyrfu, a'r

---

* Darfu im 'sylwi eisoes, mai yr hanes yma o'r rhyfel Iuddewig ydoedd gwaith cyntaf Josephus, yr hwn a gyhoeddwyd ynghylch B. A. 75, pan ydoedd yn unig yn 38 mlwydd o oedran: a darfod iddo gyhoeddi ei Hynafiaethau ddeunaw mlynedd ar ol hynny, pan oedd yn fwy cyflawn adnabyddus o amseroedd a aethant heibio, ac wedi darllen hanesion o waith awdwyr cyfrifol; yr hyn a'i galluogodd i ddiwygio rhai cyfeiliornadau yn ei waith cyntaf.

† Pwy ydoedd y barbariaid uchaf hyn, pell oddiwrth y môr, Josephus ei hun a fynega i ni; sef, y Parthiaid, y Babiloniaid, yr Arabiaid pellaf, neu o'r hyn lleiaf, yr Iuddewon oedd yn eu mysg hwynt; megis hefyd yr Iuddewon tu hwnt i Euphrates, a'r Adiabeni neu Assyriaid, y rhai a ddeallent ysgrifenadau Josephus, cyn eu cyfieithu i'r Groeg.

Cettæ yn aflonydd: ond y cwbl oedd mewn annhrefn wedi marw Nero. A'r cyfleusdra oedd yn awr yn ymgynnyg, a dueddodd lawer i gyfeirio at yr awdurdod ymmerodrol; a'r filwraeth oedd chwannog i gyfnewidiad oddiwrth obaith am arian. Meddyliais gan hynny ei fod yn beth gwrthun i edrych ar y gwirionedd yn cael ei ŵyrdroi mewn achosion o'r fath ganlyniad, ac heb wneud sulw o hono; ond i adael y Groegiaid a'r Rhufeiniaid nad oeddynt yn y rhyfeloedd, yn anwybodus o'r pethau hyn; ac i ddarllen un ai gweniaithiau neu ffugion; pan ddichon y Parthiaid, y Babiloniaid, a'r Arabiaid pellaf, ynghyd a'r rhai hynny o'n cenedl ein hunain tu hwnt i Euphrates, gyd â'r Adiabeni, trwof fi, wybod gyd â manylrwydd o ba le y dechreuodd y rhyfel; pa drallod a ddygodd arnom, ac ym mha ddull y diweddodd.

Yr ysgrifenwyr hyn sydd â chanddynt yr hyfdra i alw eu 'sgrifennadau yn hanesion; ond y maent yn ymddangos i mi megis yn methu yn eu pwrpas eu hunain, yn gystal a bod heb adrodd dim ag sydd yn ddi-duedd: canys ewyllysiant arddangos cadernid y Rhufeiniaid, tra maent fyth yn diddymmu ac yn lleihau gweithredoedd yr Iuddewon; megis heb ddirnad pa fodd ni ddichon fod i'r rhai hynny ymddangos yn fawr, a orchfygasant yn unig y rhai oedd fychain. Ac nid yw gywilydd ganddynt edrych heibio i hyd y rhyfel; lliosowgrwydd y byddinoedd Rhufeinig, y rhai a golledwyd gymmaint ynddo; neu rymmusder y blaenoriaid, llafur pa rai a gyfrifir yn anghlodforus, os bydd i'r hyn a gyrraeddasant gael ei gyfrif yn beth bychan.

Pa fodd bynnag nid âf i ormodedd yr ochr arall, yn wrthwyneb i'r rhai hynny ag sy'n dyrchafu y Rhufeiniaid; ac ni phenderfynaf ddyrchafu gweithredoedd fy nghydwladwyr fy hun yn rhy uchel, ond mi ddilynaf weithrediadau pob plaid gyd â'r manylrwydd mwyaf. Etto bydd i mi gymhwyso fy iaith at y teimladau yr wyf tanynt, ymherthynas i'r achosion yr wyf yn eu descrifio; a rhaid yw fy nghaniattau i gynnwys rhai galarnadau oblegid y trueni yr aed tano gan fy ngwlad fy hun; am mai tymmer gyndyn, ymrysongar o'r eiddom ein hunain a'i difethodd hi; ac mai hwynthwy oedd y gorthrymwyr ym mysg yr Iuddewon y rhai a ddygasant y lluoedd Rhufeinig i'n goresgyn ni; y rhai yn wrthwyneb i'w hewyllys a ymladdasant i'n herbyn, ac a fu yn achos o ddifrodi ein teml sanctaidd, megis y mae Titus Cæsar, yr hwn a'i difethodd hi, yn dyst ei hun; yr hwn yn holl amser y rhyfel, oedd yn tosturio wrth y bobl, y rhai a gedwid tan awdurdod yr ymrysonwyr; ac yn wirfoddol a fynych oedodd gymmeryd y ddinas, ac a estynnodd amser y cynllwyn, mewn trefn i adael i awdwyr yr ymryson gael cyfle i edifarhau. Ond os bydd i ryw un achwyn yn anghyfiawn i'm herbyn, pan wyf yn llefaru mor danbaid ynghylch y gormeswyr, neu yspeilwyr, a'm bod yn trwm-alaru o herwydd aflwydd fy ngwlad; cyd-ddyged â'm serchiadau yn hyn, er y dichon fod yn anghyttun â'r rheol o ysgrifennu hanesion: o herwydd dyfod y peth felly o gwmpas, fel ag yr oedd ein dinas Jerusalem wedi cyrhaeddyd i uwch gradd o ddedwyddwch nag un ddinas arall tan y llywodraeth Rufeinaidd; ac etto yn y diwedd a syrthiodd i'r gwaethaf o amgylchiadau drachefn. Yn ganlynol fe ymddengys i mi, am * flinderau pob dynion, er dechreuad y byd, os cymharir hwy ag eiddo'r Iuddewon, nad oeddynt cymmaint ag y tybid eu bod; pan nad oedd eu hawdwyr ychwaith yn ddieithriaid. Hyn sydd yn ei wneud yn ammhossibl i mi gynnwys fy ngalar. Ond os bydd rhyw un yn anhyblyg yn beïo arnaf, cyfrifed y digwyddiadau i'r rhan hanesiol o'r gwaith, a'r galarnadau i'r ysgrifenydd.

Pa fodd bynnag, gallaf feïo yn gyfiawn ar y gwŷr dysgedig ym mysg y Groegiaid; y rhai, pan oedd pethau mor hynod yn cael eu cyflawni yn eu hamser eu hunain; pa rai, wrth eu cydmaru, a barant i'r hen ryfeloedd ddiflannu; ydynt er hynny yn eistedd fel barnwyr ar y matterion perthynol i'r oesoedd gynt, ac yn rhoddi barn galed ar lafur ysgrifenwyr hynafiaeth; pa ryw awdwyr diweddar, er bod o honynt yn fwy ymadroddus na'r hen ysgrifenwyr, etto y maent islaw iddynt ynghyflawniad yr hyn a amcanasant ei wneuthur. Tra y mae y rhai hyn hefyd yn ysgrifennu hanesion newyddion ynghylch yr Assyriaid a'r Mediaid; fel pe buasai'r ysgrifenwyr gynt heb ddescrifio eu matterion fel y dylasent wneuthur: er eu bod hwy mor bell islaw iddynt yn eu cymmwysderau, ag

* Y byddai'r trallodion hyn o eiddo'r Iuddewon, y rhai oedd lofruddwyr ein Hiachawdwr, i fod yn fwyaf o bob blinderau, a fu er dechrau'r byd, Crist a'i rhagddywedodd iddynt yn amlwg, Matth. xxiv. 21. Marc xiii. 9. Luc xxi. 23, 24. ac iddynt hwy brofi hynny yn ganlynol, Josephus sydd yma yn dyst tra sicr.

ydynt yn gwahaniaethu oddiwrthynt yn eu dychymmygion. Canys pob hanesydd gynt a gymmerai arno ysgrifennu am y pethau a ddigwyddodd yn ei amser ei hun, pan ydoedd ei berthynas â'r pethau a gyflawnwyd yn dodi pwys yn eu hadroddiad; a phan fyddai yn waradwyddus ysgrifennu celwyddau, pa rai a adnabyddid felly gan y darllenwyr. Ond yna, gwaith o fo'n tueddu i gadw coffadwriaeth o bethau na chrybwyllwyd am danynt o'r blaen; ac i un ddatgan achosion ei amser ei hun, i'r rhai a ddeuant ar ol, sydd deilwng o ddiolch a channoliaeth. Yn awr, gellir ei gyfrif ef yn un a gymmerodd boen mewn gwirionedd, nid na wnel ychwaneg na newid defnydd a threfn gwaith dynion eraill; ond yr hwn, nid yn unig a adrodda y pethau ni adroddwyd o'r blaen, ond a gyfansodda gorph cyfan o hanes o'r eiddo ei hun. Yn ganlynol, bum fy hun mewn traul fawr, ac a gymmerais lawer o boen ynghylch yr hanes hwn, er fy mod yn ddieithr-ddyn; ac yr wyf yn anrhegu y gwaith yma fel coffadwriaeth o weithredoedd mawrion, yn gystal i'r Groegiaid a'r Barbariaid. Ond am rai o'n gwŷr pennaf ein hunain, y mae eu geneuau yn agored ddigon, a'u tafodau yn rhyddion i ymofyn ar ol elw ac achwynion cyfraith, ond yn gauedig ac yn rhwym pan fyddont i ysgrifennu hanesyddiaeth, ym mha un y maent i ddywedyd y gwir, a chasglu pethau ynghyd gyd â llawer o lafur; ac felly gadawant ysgrifennu y fath hanesyddiaeth i ddynion o wannach cynheddfau, a'r cyfryw na wyddant am amgylchiadau tywysogion. Etto bydd i'r iawn wirionedd o hanes pethau gael ei ddewis yn hytrach gennym ni, pa ryw fodd bynnag y mae'n cael ei esgeuluso gan yr haneswyr Groegaidd.

I ysgrifennu ymherthynas i Hynafiaethau'r Iuddewon; pwy oeddynt yn y dechreuad; y modd yr ymwrthodasant â'r Aiphtiaid; pa wlad a deithiasant trwyddi; a pha ryw wledydd a oresgynnasant yn ol hynny; a'r modd y symmudwyd hwynt o honynt; nid wyf yn golygu yn awr gyfleustra addas, ac ar gyfrifon eraill hefyd yn ei farnu yn afreidiol. A hynny o herwydd i amryw Iuddewon o'm blaen i gyfansoddi hanes ein hynafiaid yn dra chywir; megis ag y darfu i rai o'r Groegiaid ei wneuthur hefyd; a chyfieithasant ein hanesion i'w hiaith eu hunain; heb gamsynied llawer o'r gwirionedd ynddynt: Ond yna, lle mae ysgrifenwyr y matterion hynny, a'n prophwydi yn rhoddi i fynn, oddi yno y cyfodaf ac y dechreuaf fi fy hanes. Yn awr am yr hyn a berthyn i'r rhyfel yn fy amser fy hun, mi af trosto yn dra helaeth, a chyd â'r manylrwydd mwyaf ag a fedrwyf: ond am yr hyn a ragflaenodd fy oes fy hun, hynny a af yn fyrr trosto.

Er siampl: Mi adroddaf ddarfod i Epiphanes gymmeryd Jerusalem trwy drais; a'i meddiannu dair blynedd a thri mis; a'i fwrw ef wedi hynny allan o'r wlad gan feibion yr Asmoneaid. Ar ol hynny ddarfod i'w hiliogaeth hwy ymrafaelio ynghylch y llywodraeth, a dwyn o honynt i'w sefydliad y Rhufeiniaid, a'u pen blaenor Pompey: ddarfod i Herod hefyd, mab Antipater, ddiddymmu eu llywodraeth, a dwyn Sosius ar eu gwarthaf: megis ag y darfu hefyd i'n pobl ni wneuthur ymraniad yn ol marwolaeth Herod, tra'r oedd Augustus yn ymerawdwr Rhufain, a Quintilius Varus yn y wlad honno: a darfod i'r rhyfel dorri allan yn y ddeuddegfed flwyddyn i Nero, gyd â'r hyn a ddigwyddodd ymherthynas i Cestius; a pha fannau a osodwyd arnynt gan yr Iuddewon mewn dull rhyfelgar, yn nechreuad cyntaf yr ymryson.

Adroddaf hefyd y modd yr adeiladasant furiau o gwmpas y dinasoedd cymmydogaethol: a darfod i Nero, ar orchfygiad Cestius, ofni ynghylch canlyniad y rhyfel; ac ar hynny wneuthur Vespasian yn flaenor ei fyddin yn y rhyfel hwnnw: ac i'r Vespasian yma, gyd â'r * hynaf o'i feibion, wneuthur ymgyrch i wlad Judea: pa faint oedd nifer y fyddin Rufeinig a wnaeth efe ddefnydd o honynt; a pha gynnifer o'i gynnorthwyadon a dorrwyd ymaith trwy holl Galilea: a'r modd y cymmerodd rai dinasoedd trwy drais, ac eraill trwy gyttundeb. Yn awr, pan ddelwyf mor bell ym mlaen, rhoddaf ddescrifiad o drefn dda y Rhufeiniaid mewn rhyfel, a disgyblaeth eu llengau: maintioli y ddwy Galilea; gyd ag ansawdd a therfynau Judea. Bydd i mi yn fanwl fyned tros yr hyn a berthyn yn neillduol i'r wlad honno; y llynnoedd a'r ffynhonnau sydd ynddi; a pha ddrallodion a ddigwyddodd ym mhob dinas megis ag y cymmerwyd hwynt: a hyn oll gyd â dichlyndra, megis

* Titus.

y canfyddais bethau yn cael eu cyflawni neu eu dioddef ynddynt: canys ni chuddiaf ddim o'r peryglon yr aethum fy hun trwyddynt, gan fy mod i'w hadrodd i'r rhai a ŵyr am y gwirionedd o honynt.

Ar ol hyn, bydd i mi ddangos, y modd pan waethygodd achosion yr Iuddewon, y bu farw Nero; ac y galwyd Vespasian yn ol, pan oedd yn myned i ymosod ar Jerusalem, i gymmeryd arno'r llywodraeth: pa arwyddion a gafodd ymherthynas i feddiannu'r llywodraeth honno: a pha gyfnewidiau llywodraeth a ddigwyddodd yn Rhufain; a'r modd, yn anewwyllysgar, y gwnaed ef yn ymerawdwr gan y milwyr; ac, ar ei ymadawiad i'r Aipht, wedi meddiannu'r llywodraeth, amgylchiadau'r Iuddewon a aeth yn dra therfysglyd; ac hefyd y modd y cyfododd y gormeswyr yn eu herbyn, ac y syrthiasant i ymryson yn eu mysg eu hunain.

Adroddaf yn yn ol hynny y modd y cychwynodd Titus o'r Aipht i Judea yr ail-waith; megis hefyd pa fodd, pa le, a pha nifer o luoedd a gafodd ynghyd; ac ym mha amgylchiad yr oedd y ddinas o herwydd gwaith yr ymrysonwyr ar ei ddyfodiad; pa ymosodiadau a wnaeth, a pha sawl gwrthglawdd a gyfododd: am y tri mur oedd yn amgylchu'r ddinas, a'u mesurau; am gadernid y ddinas, ac adeiladaeth y deml; ac am y tŷ sanctaidd; ac heblaw hyn, mesurau y tair adeilad yno, ynghyd â'r allor; a'r cwbl wedi eu penderfynu yn gywrain. A descrifiad hefyd o amryw o'u gŵyliau, a* saith buredigaethau purdeb; a gweinidogaethau cyssegredig yr offeiriaid; gyd â gwisgoedd yr offeiriaid a'r archoffeiriaid; ac am natur y cyssegr sancteiddiolaf; heb ddarn-guddio dim, neu chwanegu pethau neillduol at wir adnabyddus.

Ar ol hyn caf adrodd am greulondeb y gorthrymwyr at bobl eu cenedl eu hun; yn gystal a goddefiad y Rhufeiniaid yn arbed dieithrwyr: a pha mor fynych y darfu i Titus, oddiar ddymuniad i arbed y ddinas a'r deml, wahodd yr ymrysonwyr i ammodau o gyttundeb. Dangosaf hefyd am ddioddefiadau'r bobl, a'u trallodion, pa mor bell y cystuddiwyd hwynt gan yr ymrysonwyr, a thrwy newyn, nes o'r diwedd eu cymmeryd hwynt. Ac ni adawaf ar ol grybwyll am ddioddefiadau'r encilwyr, na'r cospedigaethau a osodwyd ar y caethion; ac hefyd y modd y llosgwyd y deml, yn erbyn ewyllys Cæsar: a pha nifer o bethau cyssegredig, y rhai a osodasid i fynu yn y deml, a gipiwyd allan o'r tân: hefyd dinystr yr holl ddinas, gyd â'r arwyddion a'r rhyfeddodau a ragflaenasant hynny: a chymmeriad y gorthrymwyr yn gaethion, a lliaws y rhai a wnaethpwyd yn gaeth-weision; ac i ba wahanol drallodion y dosparthwyd hwynt. Ymhellach, pa beth a wnaeth y Rhufeiniaid i weddillion y mûr, a'r modd y difrodasant y lleoedd cedyrn oedd yn y wlad, ac y sefydlasant eu hachosion: ynghyd a'i ddychweliad i'r Ital gyd â gorfoledd.

Mi a grynhoais y cwbl i saith o lyfrau; heb roddi achlysur o achwyniaeth i neb a wybuant am y rhyfel hwn; ac mi a'u hysgrifennais i lawr er mwyn y rhai a garant y gwirionedd; ac nid i'r rhai a foddhant eu hunain â gau-adroddiad o bethau.

* Y saith, neu yn hytrach y pum graddau hyn o burdeb neu buredigaeth, a rifir yn ol hyn, V. 5. Y Rabbiniaid a wnant ddeg gradd o honynt fel yr hyspysir i ni yn y lle hwn gan Reland.

Y

# RHYFEL IUDDEWIG.

## LLYFR I.

*Yn cynnwys Amseriad o 67 o Flynyddau.*

O GYMMERIAD JERUSALEM GAN ANTIOCHUS EPIPHANES, HYD FARWOLAETH HEROD Y MWYAF.

### PENNOD I.

*Cymmeryd Jerusalem, ac anrheithio'r deml gan Antiochus Epiphanes: hefyd ymherthynas i weithrediadau y Maccabeaid, Matthias a Judas; ac ymherthynas i farwolaeth Judas.*

AR yr un amser ag yr oedd gan Antiochus, a elwid Epiphanes, amrafael â'r chweched Ptolemy, ynghylch ei hawl i holl wlad Syria; ymryson mawr a dorrodd allan rhwng y gwŷr nerthol yn Judea, ynghylch eu hawl i lyworaethu y wlad: pryd na's gallai y rhai oll o dderchafiad uchel oddef bod yn ddeiliaid i'w cydraddau. Pa fodd bynnag Onias, un o'r archoffeiriaid, a gafodd y goreu, ac a yrrodd feibion Tobias allan o'r ddinas. Ar hynny hwy a ffoisant at Antiochus; ac a ddymunasant arno eu defnyddio fel ei flaenoriaid, a gwneud ymgyrch i Judea: a chan fod tuedd yn y brenin i hynny yn mlaen llaw, efe a gydsyniodd â hwynt, ac a ddaeth ar warthaf yr Iuddewon gyd â byddin fawr; a chymmerodd eu dinas trwy drais, gan ladd lliaws mawr o'r rhai oeddynt ffafriol i Ptolemy, ac a ddanfonodd allan ei filwyr i'w hanrheithio yn ddidrugaredd. Efe hefyd a yspeiliodd y deml; ac a ddododd attalfa ar y gwastadol wasanaeth o offrymmu yn feunyddiol tros dair blynedd a chwe mis. Ond Onias yr archoffeiriad a ffodd at Ptolemy, ac a gafodd le ganddo yn nhalaith Heliopolis; ac yno 'r adeiladodd ddinas fechan ar lun Jerusalem, a theml * gyffelyb i'r deml honno; ynherthynas i'r hon y llefarwn fwy yn ei le priodol ar ol hyn.

Yn awr ni chafodd Antiochus ei foddloni â chymmeriad annisgwyliadwy y ddinas, neu ei hanhraith, neu â'r lladdfa a wnaethai ynddi: ond wedi ei orchfygu gan greulondeb ei dymmer, a chan goffa'r hyn a ddioddefodd yn oed amser y cynllwyn, efe a gymhellodd yr Iuddewon i ymwrthod â chyfreithiau eu gwlad, a chadw eu mabanod heb eu henwaedu, ac aberthu moch ar eu hallorau. Yn erbyn yr hyn y gwrthsafasant oll, a'r rhai parchediccaf o honynt a ddodwyd i farwolaeth. Bacchides hefyd, yr hwn a ddanfonasid i gadw'r amddiffynfeydd, ac â chanddo'r gorchymmyn annuwiol yma yn gyssylltedig â'i dueddiad barbaraidd ei hun, efe a gynnwysodd bob math o ddrygioni, ac a arteithiodd y rhai mwyaf anrhydeddus o'r trigolion, gwr ar ol gwr, gan fygwth yn feunyddiol lwyr ddinystrio'r ddinas; nes o'r diwedd iddo gynhyrfu'r dioddefwyr trwy ymddygiad eithaf trahaus a gorthrymmus i ddial eu hunain.

Yn ganlynol Matthias, mab Asmoneus, un

* Nid wyf yn canfod ond ychydig wahaniaeth rhwng yr hanesion yn Josephus ynghylch y deml Onion yma yn yr Aipht, am yr hyn yr achwynir yn fawr gan ei esponwyr. Onias, fe ymddengys, a obeithiodd ei chael wedi ei gwneud yn dra thebyg i'r un hynny yn Jerusalem, ac o'r un faintioli: yr hyn a ymddengys iddo wneud morbell ag yr oedd yn alluog. Am y deml hon, gwel Hynaf, XIII. 6. Am y Rhyf. VII. 10.

o'r offeiriaid oedd yn byw mewn pentref a elwid Modin, a arfogodd ei hun, ynghyd â'i holl deulu, yr hwn oedd iddo bump o feibion; y rhai a laddasant Bacchides â chleddyfau: ac ar hynny trwy ofn gwersyllfa'r gelyn, Matthias a ffodd i'r mynyddau. A'r fath liaws o bobl a'i dilynasant ef, fel y cafodd ei gefnogi i ddyfod i lawr drachefn o'r mynyddau, ac i sefyll brwydr â chad-flaenoriaid Antiochus, y rhai a orchfygodd, efe ac a yrrodd allan o Judea. Felly fe ddaeth i feddiant o'r llywodraeth wrth y llwyddiant hwn; ac a ddaeth yn dywysog i bobl ei genedl ei hun trwy eu boddlon gyd-syniad, ac yna a fu farw, gan adael y llywodraeth i Judas ei fab hynaf.

Yn awr Judas, gan ddychymmygu na fyddai i Antiochus aros yn llonydd, a gasglodd fyddin o'i gyd-wladwyr ei hun, ac ydoedd y cyntaf a wnaeth gyngrair o gymdeithasrwydd â'r Rhufeiniaid; ac a yrrodd Epiphanes allan o'r wlad, pan wnaeth ail-ymgyrch yn ei herbyn, a hyn trwy gael buddugoliaeth fawr arno. Ac wedi ei wroli â'r llwyddiant hwn, efe a wnaeth ruthr ar y gwersyll oedd yn y ddinas; canys ni thorrasid hwnnw ymaith hyd yn bresennol. Felly efe a'u bwriodd allan o'r ddinas uchaf, ac a yrrodd y milwyr i'r isaf, pa ran o'r ddinas a elwid y tŵr neu gastell. Yna fe gafodd y deml tan ei awdurdod, ac a lwyr-lanhaodd yr holl le, wedi murio oddiamgylch iddo; gan wneuthur llestri newyddion i wasanaeth y deml, a'u dwyn i mewn iddi, o herwydd halogi y rhai a arferid o'r blaen. Efe hefyd a ddechreuodd adeiladu allor arall, ac a ddechreuodd offrymmu'r aberthau: ac wedi i'r ddinas dderbyn ei sefydliad cyssegredig drachefn, Antiochus a fu farw, a'i fab Antiochus a'i dilynodd ef yn y deyrnas, ac yn ei gasineb i'r Iuddewon.

Felly'r Antiochus hwn a gasglodd ynghyd ddeng mil a deugain o wŷr traed, a phum mil o wŷr meirch, gyd â phedwar ugain o elephantiaid; ac efe a aeth ym mlaen trwy Judea i'r parthau mynyddig. Yna y cymmerodd Bethsura, yr hon oedd ddinas fechan. Ond wrth le a elwid Bethzacharias, lle'r oedd y ffordd yn gul, Judas a'i cyfarfu ef gyd â'i fyddin. Pa fodd bynnag, cyn i'r byddinoedd ymgyssylltu mewn brwydr, Eleazar brawd Judas, yn canfod yr uchelaf o'r elephantiaid wedi ei addurno â thŵr ar ei gefn, a harneisiau milwraidd o aur o'i amgylch; a chan feddwl fod Antiochus ei hun yn y tŵr, efe a redodd encyd o ffordd o flaen ei fyddin, ac a dorrodd yn ei gyfer trwy lu'r gelyn, fel y daeth i fynu hyd at yr elephant. Etto ni's gallai ei gyrraedd, o herwydd ei ymddangos yn frenin yr elephantiaid, ac o herwydd ei fod mor uchel: ond efe a redodd ei gleddyf i fôl y bwystfil, fel y tynnodd ef i lawr ar ei gefn ei hun, ac ai llethwyd i farwolaeth ganddo: heb wneuthur mwy wrth hynny nag amcanu gweithred ardderchog, a dangos ei fod yn dewis marwolaeth glodforus o flaen bywyd. Yn awr, yr hwn oedd yn llywodraethu'r elephant nid ydoedd fwy na dyn neillduol; a phe profasai ei fod Antiochus, ni ymddangosasai yn amgen na dyrnod hŷf gan Eleazar, ac arwydd o'i ddewisiad o farw, pan oedd ganddo y gobaith noeth o gyflawni gweithred ddefnyddiol trwy hynny. Ië, y siommedigaeth hon a brofodd yn arwydd i'w frawd Judas o'r modd y diweddai'r frwydr. Mae'n wir i'r Iuddewon ymladd yn wrol tros hir amser: ond â lluoedd y brenin yn rhagori mewn rhifedi, a chanddynt ffortun o'u hochr, hwy a gawsant y fuddugoliaeth. Ac wedi lladd llawer o'i wŷr, Judas a gymmerodd y gweddill gyd ag ef, ac a ffodd i ardal Gophna. Felly Antiochus a aeth i Jerusalem, ac ni arhosodd yno ond ychydig ddyddiau, am ei fod mewn diffyg lluniaeth, ac felly fe aeth ymaith. Efe a adawodd yn wir wersyll o filwyr o'i ol, y rhai a farnodd yn ddigonol i gadw'r lle; ond a dynnodd ymaith y rhan arall o'i fyddin, i gymmeryd ei gauaf-wersyllfa yn Syria.

Yn awr, wedi ymadawiad y brenin, nid ydoedd Judas yn segur: canys fel yr ymgasglodd llawer o'i genedl ei hun atto, felly efe a grynhodd y rhai a ddiangasai o'r frwydr ynghyd, ac a oddiweddodd gad-flaenoriaid Antiochus mewn pentref a elwid Adasa; ac wedi ei fyned yn rhy galed i'w elynion yn y frwydr, a lladd llawer o honynt, bu iddo o'r diwedd gael ei ladd ei hunan hefyd. Ac nid llawer o ddyddiau a aeth heibio yn ol hynny, nes gosod bradwriaeth gan blaid Antiochus yn erbyn ei frawd Ioan, yr hwn hefyd a laddasant.

## PENNOD II.

*Ymherthynas i Jonathan, Simon, a Ioan Hyrcanus, dilynwyr Judas.*

WEDI i Jonathan, yr hwn oedd frawd Judas, gymmeryd ei le ef, efe a ymddygodd ei hun gyd ag uniondeb mawr mewn ystyriaethau eraill, ymherthynas i'w bobl ei hun; ac a gyfnerthodd ei awdurdod trwy gynnal ei gymdeithasrwydd â'r Rhufeiniaid. Gwnaeth hefyd gyngrair ag Antiochus y mab. Etto nid oedd hyn i gyd yn ddigon er ei ddiogelwch: canys y gorthrymwr Trypho, yr hwn oedd olygwr mab Antiochus, a osododd frad i'w erbyn; ac heblaw hynny a ymdrechodd i ddenu ymaith ei gyfeillion: ac efe a ddaliodd Jonathan trwy gyfrwysdra, fel yr oedd yn myned i Ptolemais at Antiochus, ag ychydig wŷr gyd ag ef, ac a'i dododd mewn rhwymau; ac yna fe wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Iuddewon. Ond wedi ei yrru ymaith yn ol hynny gan Simon, yr hwn oedd frawd Jonathan, ac yn ymgynddeiriogi o herwydd ei orchfygu, efe a ddododd Jonathan i farwolaeth.

Pa fodd bynnag, Simon a drefnodd yr achos cyffredin mewn modd grymmus ac effeithiol; a chymmerodd Gazara, Joppa, a Jamnia, y rhai oedd ddinasoedd yn ei gymmydogaeth. Efe hefyd a ddarostyngodd y wersyllfa, ac a ddadymchwelodd y castell. Bu ar ol hynny yn gynnorthwyol i Antiochus yn erbyn Trypho, yr hwn a gynllwynodd iddo yn Dora, cyn myned i'w ymgyrch yn erbyn y Mediaid. Etto ni allai gywilyddio'r brenin oblegid ei drachwant, er ei gynnorthwyo ef i ladd Trypho: canys nid hir y bu cyn i Antiochus ddanfon Cendebeus, ei gad-flaenor, gyd â byddin i ddifrodi Judea, ac i ddarostwng Simon. Etto efe, er ei fod yn awr yn oedrannus, a dywysodd y rhyfel, fel pe buasai yn llawer ieuangach dyn. Efe hefyd a ddanfonodd ei feibion, gyd â llu o wŷr cedyrn yn erbyn Antiochus, pan y cymmerodd ran o'r fyddin gyd ag ef ei hun, ac a syrthiodd ar ei warthaf o gwrr arall. Gosododd hefyd lawer o gynllwynwyr yn amryw fannau o'r mynyddoedd, ac yr oedd yn rhagori yn ei holl ymosodiadau arnynt. Ac wedi bod yn fuddugoliaethwr mewn modd mor hynod, efe a wnaethpwyd yn archoffeiriad, ac hefyd fe ryddhaodd yr Iuddewon oddiwrth arglwyddiaeth y Macedoniaid, yn ol cant a deng mlynedd a thrugain o ymerodraeth Seleucus.

Y Simon hwn hefyd ydoedd ag iddo fradwriaeth wedi ei osod i'w erbyn, ac a laddwyd mewn gwledd gan ei fab-ynghyfraith Ptolemy; yr hwn a ddododd ei wraig, a dau o'i feibion yngharchar: ac a ddanfonodd ryw wŷr i ladd Ioan, yr hwn hefyd a elwid Hyrcanus.* Ond â'r dyn ieuangc yn hyspys o'r blaen o'u dyfodiad, a wnaeth frys i fyned i'r ddinas, megis â chanddo hyder mawr yn y bobl oedd yno; yn gystal trwy goffadwriaeth o weithredoedd clodfawr ei dad, ac o herwydd y casineb ni allai amgen na bod ganddynt at weithred anghyfiawn Ptolemy. Ptolemy hefyd a wnaethai gynhygiad i fyned i'r ddinas trwy borth arall, ond a attaliwyd gan y bobl, y rhai ychydig o'r blaen a dderbyniasent i mewn Hyrcanus. Felly efe a ymadawodd ymaith i un o'r amddiffynfeydd ag ydoedd uwchlaw Jericho, yr hon a elwid Dagon.

Yn awr wedi i Hyrcanus dderbyn yr archoffeiriadaeth, yr hon a feddiannodd ei dad o'r blaen, ac offrymmu aberth i Dduw; efe a wnaeth frys mawr i orddiwes Ptolemy, fel y gallai weini cymmorth i'w fam a'i frodyr.

Yn ganlynol efe a osododd gynllwyn i'r amddiffynfa, ac a ragorodd ar Ptolemy mewn pethau eraill; ond efe a orchfygwyd ganddo ef ymherthynas i'r cariad oedd ganddo tu ag at ei berthynasau. Canys wedi cyfyngu ar Ptolemy, efe a ddygodd allan fam a brodyr Hyrcanus, ac a'u gosododd ar y mur, gan eu curo â gwïail yngolwg pawb; ac a fygythiodd, oni ymadawai ymaith yn ddioed, y bwriai hwynt bendramwnwgl i lawr. Wrth yr olwg yma, tosturi a thristwch Hyrcanus a orchfygodd ei ddigter. Ond ni ddigalonnodd ei fam tan y gwialenodiau a dderbyniodd, nac o herwydd y farwolaeth â pha un y bygythid hi: ond hi estynodd allan ei dwylaw, ac a attolygodd ar ei mab na chynnyrfid ef o herwydd y niweid yr oedd hi yn ei ddioddef, i arbed yr adyn: gan ei fod yn well iddi farw trwy ddwylaw Ptolemy, na byw yr amser hwyaf tano, os cospid ef am y

* Paham y galwyd yr Ioan hwn, mab Simon, yr archoffeiriad, a llywodraethwr yr Iuddewon, yn Hyrcanus, nid yw Josephus yn un man yn hyspysu ini: ac ni's gelwir mewn modd amgen na Ioan ar ddiwedd llyfr cyntaf y Maccabeaid. Pa fodd bynnag, Sixtus Senensis, pan yw yn rhoddi talfyriad o gyfieithiad Groeg y llyfr a dalfyrrir gan Josephus, neu o Groniclau yr Ioan Hyrcanus hwn, ag oedd y pryd hynny mewn bod, a sicrha i ni, ei alw ef Hyrcanus oddi wrth ei fuddugoliaeth ar un o'r enw hwnnw. Gwel Authent. Rec. Rhan. I. t. d. 207.

drygau a wnaethid i'w teulu. Yn awr sefyllfa Ioan ydoedd hyn: pan edrychai ar galondid ei fam, a chlywed ei deisyfiad, efe a yrrai ym mlaen ei gynllwynfa: ond pan welai hi yn ei churfeydd, ac yn cael ei harcholli tan y gwialenodiau, efe a orchfygid gan dynerwch ei deimladau caredigol. Ac fel yr oedwyd y cynllwyn trwy'r moddion hyn, daeth y flwyddyn ym mlaen ar yr hon y gorphwysai'r Iuddewon bob saith mlynedd, megis ag y gwnant bob seithfed dydd. Ar y flwyddyn hon gan hynny Ptolemy a ryddhawyd oddiwrth ei gynllwynfa; ac efe a laddodd frodyr Ioan, gyd â'u mam, ac a ffodd at Zeno, a elwid hefyd Colytas, yr hwn oedd orthrymwr Philadelphia.

Yn awr, Antiochus ydoedd mor ddigllon oblegid yr hyn a ddioddefasai oddiwrth Simon, fel y gwnaeth ymgyrch i Judea, ac a eisteddodd i lawr o flaen Jerusalem i warchae ar Hyrcanus. Ond Hyrcanus a agorodd feddrod Dafydd, yr hwn oedd y cyfoethoccaf o'r holl frenhinoedd, ac a gymmerodd oddiyno dair mil o dalentau yn arian; ac a ddenodd Antiochus trwy addewid o dair mil o dalentau i godi'r gwarchae. Ymhellach efe oedd y cyntaf o'r Iuddewon oedd â digonedd o arian ganddo, ac a ddechreuodd gyflogi cynnorthwyadon o genhedlaethau dieithr.

Pa fodd bynnag ar amser arall, pan oedd Antiochus wedi myned ar ymgyrch yn erbyn y Mediaid, ac felly a roddodd gyfle i Hyrcanus ddial arno, efe a wnaeth ymosodiad ar ddinasoedd Syria; gan feddwl, yr hyn a brofodd yn wir, y cai hwynt yn wâg o filwyr. Felly fe gymmerodd Medaba a Samea, gyd â'r trefydd yn eu cymmydogaeth; megis hefyd Shechem a Gerizzim. Ac heblaw y rhai hyn, efe a ddarostyngodd genedl y Cutheaid, y rhai oedd yn aros o amgylch y deml a adeiladasid ar ddull teml Jerusalem. Efe hefyd a gymmerodd amryw ddinasoedd eraill o Idumea, gyd ag Adoreon a Marissa.

Efe hefyd a aeth ymlaen cyn belled a Samaria, ymha le yn awr y mae'r ddinas Sebaste, a adeiladwyd gan Herod frenin, wedi ei hamgylchu oll â mûr: ac fe osododd ei feibion Aristobulus ac Antigonus yn olygwyr ar y gwarchae: y rhai a yrrasant arno ym mlaen mor danbaid, fel y cymmerodd newyn le i'r fath raddau yn y ddinas, ac y gorfu arnynt fwytta yr hyn ni chyfrifid erioed yn ymborth. Hwy hefyd a wahoddasant Antiochus Cyzicenus, i ddyfod yn gynnorthwy iddynt. Yn ganlynol fe ymbarottodd, ac a gyd-syniodd â'n gwahoddiad, ond efe a gurwyd gan Aristobulus ac Antigonus. Ac yn wir efe a erlidiwyd cyn belled a Scythopolis, gan y brodyr hyn, ac a ffodd ymaith rhagddynt. Felly hwy a ddychwelasant yn ol i Samaria, ac a ganasant y lliaws i fynu drachefn y tu fewn i'r mûr: ac wedi cymmeryd y ddinas hwy a'i difrodasant hi, a chaethiwasant y trigolion. Ac fel yr oeddynt yn llwyddo ymhellach yn eu hanturiaethau, ni adawsant i'w sêl oeri, ond a aethant rhagddynt gyd â'u byddin cyn belled a Scythopolis, gan wneud rhuthr arni, a difrodi 'r holl wlad oedd yn gorwedd o fewn mynydd Carmel.

Y llwyddiant yma o eiddo Ioan a'i feibion, a barodd iddynt gael eu heiddigeddu, ac a fu yn achlysur o ymrysoniad yn y wlad: a llawer oeddynt hwy y rhai a ddaethant ynghyd; ac ni fynnent fod yn esmwyth nes torri allan i ryfel cyhoeddus, ym mha ryfel hwy a orchfygwyd. Felly Ioan a fu byw yn happus weddill ei ddyddiau, ac a weinyddodd y llywodraeth mewn modd tra rhagorol; a hyn tros dair blynedd ar ddeg ar hugain yn ol-yn-ol. Bu farw gan adael pump o feibion o'i ol. Yr ydoedd yn sicr yn ddyn tra dedwyddol; ac ni roddodd un achos o achwyniad cyfreithlon yn ei erbyn. Efe yn unig ydoedd yr hwn oedd â thri o'r pethau mwyaf dymunol ganddo yn y byd: sef, llywodraeth y genedl, yr archoffeiriadaeth, a dawn prophwydoliaethol. Canys y Duwdod a gyd-ymddiddanodd ag ef; ac nid oedd yn anwybodus o ddim a ddenai yn ol hynny: yn gymmaint ag y bu iddo ef ragweled na pharhäi ei feibion hynaf yn bennaethiaid ar y llywodraeth. Ac fe uchel haeddai ein hadroddiad yn descrifio eu canlyniad truenus; a dangos gymmaint yn fyrr oedd y dynion hyn o fwynhau dedwyddwch eu tad.

## PENNOD III.

*Aristobulus yn dilyn ei dad yn y llywodraeth, ac yn gwisgo coron-bleth: yn peri dodi ei fam a'i frawd i farwolaeth; ac yn marw ei hun yn ol teyrnasu un flwyddyn.*

AR ol marw Hyrcanus, y mab hynaf, Aristobulus a newidiodd y llywodraeth i deyrnas, ac oedd y cyntaf a ddododd goron-bleth o amgylch ei ben, bedwar cant ac un mlynedd ar ddeg a thrugain, a thri mis, ar ol i'n pobl ddyfod i wared i'r wlad hon, pan osodwyd hwy yn rhydd o'r caethiwed Babilonaidd.* Yn awr ymherthynas i'w frodyr, fe ymddangosodd fod ganddo serch at Antigonus, yr hwn oedd y nesaf atto ef, ac a'i gwnaeth megis yn gydradd: ond am y lleill efe a'u rhwymodd, ac a'u dododd yngharchar. Gosododd hefyd ei fam yn rhwym, am ymryson âg ef ynghylch y llywodraeth: canys Ioan a'i gadawsai hi yn llywydd yr achos cyffredin. Aeth hefyd ym mlaen i'r radd hynny o farbariaeth, ac i beri ei newynu i farwolaeth yn y carchar.

Ond dialedd a'i hamgylchynodd ef yn achos ei frawd Antigonus, yr hwn a garai, ac a'i gwnaethai yn gydradd ag ef yn y deyrnas. Canys efe a'i lladdodd trwy'r enllib a ddyfeisiodd drwg-ddynion o amgylch y palas i'w erbyn ef. Ar y cyntaf ni fynnai Aristobulus yn wir gredu eu chwedlau hwynt; mewn rhan oblegid y serchowgrwydd oedd ganddo tu ag at ei frawd; ac mewn rhan arall, am feddwl o hono fod llawer o'r chwedlau hynny yn tarddu oddiwrth gynfigen yr adroddwyr. Pa fodd bynnag, fel ag y daeth Antigonus unwaith mewn modd disgleirwych oddiwrth y fyddin i ŵyl, ym mha un ein defod hynafol ydyw gwneuthur pebyll i Dduw; fe ddigwyddodd y dyddiau hynny fod Aristobulus yn afiach; a darfod tu a diwedd yr ŵyl i Antigonus ddyfod i fynu iddi, gyd â'i wŷr arfog o'i amgylch, wedi ei addurno mewn gwisgoedd tra gwychion, a hynny mewn mesur mawr i weddio Duw tros ei frawd. Yn awr, ar yr amser hwn rhyw ddynion maleisus a ddaethant at y brenin, gan fynegi iddo, gyd â pha wedd rwysgfawr y daethai'r milwyr, ac mor falchiaidd yr ymddangosasai Antigonus; a bod ei ymddygiad uchelfalch hwnnw yn ymddangos yn ormod i ddyn unigol; a'i fod yn ganlynol wedi dyfod â llu mawr o wŷr i'w ladd ef: am na fedrai foddloni ar enw noeth o anrhydedd brenhinol, pan ydoedd yn ei allu gymmeryd y deyrnas ei hun.

Yn awr, Aristobulus yn raddol, ac yn anewyllysgar, a roddodd gred i'r cyhuddiadau hyn. Yn ganlynol cymmerodd ofal i beidio datguddio ei ddrwg-dybiau yn amlwg; er iddo ymbarottoi i ddiogelu ei hun rhag drwg-ddamwain. Felly fe osododd warchawdlu ei gorph mewn rhyw dramwyfa dywyll tan ddaear; (canys efe a orweddodd yn ei glefyd mewn lle a elwid y Castell, er yn ol hynny ei newid i'r enw o Antonia:) ac a roddes orchymmyn, os deuai Antigonus yno yn anarfog, ar iddynt beidio gwneuthur niweid iddo: ond os deuai yn arfog fod iddynt ei ladd ef. Efe hefyd a ddanfonasai rai atto ym mlaen llaw, am iddo ddyfod i ymweled ag ef heb arfau yn ei gylch. Ond ar yr achos yma y frenhines yn dra chyfrwys a drefnodd y matter gyd â'r rhai oedd yn cydfradwriaethu ei ddinystr: canys hi a berswadiodd y rhai a anfonid i ddarnguddio neges y brenin; ac i ddywedyd wrth Antigonus, ddarfod i'w frawd glywed, fod ganddo wisg filwraidd dra ardderchog, wedi ei gwneuthur yn llawn o addurniadau yn Galilea: ac o herwydd fod ei afiechyd presennol yn ei luddias rhag dyfod i weled yr holl wychder hynny, yr oedd yn mawr chwennychu ei weled yn awr yn ei arfogaeth.

Mor gynted ag y clywodd Antigonus hyn, fel nad oedd tymmer garedig ei frawd yn rhoddi lle iddo ddisgwyl dim niweid oddiwrtho; efe a ddaeth gyd â'r arfogaeth am dano, i'w dangos i'w frawd. Ond fel yr oedd yn myned ym mlaen ar hyd y dramwyfa dywyll honno a elwid Tŵr Strato, efe a laddwyd gan warchawdlu'r brenin; ac a ddaeth yn siampl hynod, o'r modd y mae enllib yn difetha pob ewyllys da, a serch naturiol; ac fel nad yw ein dymuniadau da yn ddigon cadarn i wrthsefyll cynfigen yn wastadol.

Ac yn ddiau, gallai un ryfeddu tu ag at Judas ar yr achos yma. Un oedd efe o blaid neu sect yr Esseniaid: ac ni fethasai, neu ni thwyllodd neb yn ei ragfynegiad o bethau. Yn awr y gwr hwn a ganfu Antigonus fel yr oedd yn myned heibio wrth y deml; ac a lefodd allan ar ei gymdeithion, y rhai a arosent gyd ag ef fel ei ysgolheigion. O beth dieithr! da fyddai i mi farw yn awr, gan ddarfod marw gwirionedd o'm blaen, a chyn i ryw bethau a rag-fynegais brofi yn anwir. Canys yr Antigonus yma sydd

* Gwel Hynaf. XIII. 11.

yn fyw, yr hwn a ddylasai farw heddyw: a'r lle ag y dylesid ei ladd ynddo ydoedd Dŵr Strato; yr hwn sydd â'r pellder o chwe'chant o'stadau oddiwrth y lle hwn: ac etto pedair awr o'r dydd hwn a aethant trosodd eisoes: pa ryw amser sydd yn ei wneud yn ammhossibl i'r rhagfynegiad gael ei gyflawni. Ac wedi i'r hen wr ddywedyd hyn, fe bruddhaodd yn ei feddwl, ac a ymollyngodd i ddigalondid. Ond o fewn ychydig amser, daeth y newyddion fod Antigonus wedi ei ladd mewn rhyw dramwyfa is-daear, a elwid hefyd Tŵr Strato; wrth yr un enw a'r Cæsarea hynny sy'n gorwedd ar lan y môr. A'r amheuaeth am y ddamwain alaethus hon ydoedd achos anhwyldeb y prophwyd.

Aristobulus ar hyn a edifarhaodd am y bai mawr a fuasai yn euog o hono; pa un a roddodd achos i gynnydd ei afiechyd. Yr ydoedd hefyd yn myned waeth-waeth, a'i yspryd yn wastadol a aflonyddwyd wrth feddwl am y peth a wnaethai, nes rhwygo ei ymysgaroedd yn ddrylliau trwy'r gofid annioddefol yr ydoedd tano, a thywallt o'i enau fesur mawr o waed. Ac fel yr oedd un o'r gweision a ddisgwyliai arno yn myned allan i arllwys y gwaed hwnnw, efe, trwy ryw ragluniaeth uwchnatoriol, a lithrodd ac a syrthiodd i lawr yn y fan y lladdesid Antigonus ynddo; ac felly fe gollodd beth o waed y llofruddiwr ar y lle yr oedd ôl gwaed y llofruddiedig, yr hwn oedd etto yn ymddangos. Ar hyn cri wylofus a wnaethpwyd ymhlith yr edrychwyr, fel pe buasai'r gweinidog yn bwrpasol wedi colli'r gwaed yn y lle hwnnw. Ac fel y clybu'r brenin eu cri hwynt, efe a ymofynodd am yr achos o hono? A phan na feiddiodd neb ddywedyd iddo, fe wasgodd arnynt yn fwy i ddywedyd iddo pa beth a ddigwyddasai. Felly o'r diwedd ar ol eu bygythio, a gwneuthur iddynt lefaru allan, hwy a fynegasant iddo. Yna fe ymollyngodd i dywallt dagrau, ac a ddywedodd, "Mi welaf nad wyf debygol o ddiangc rhag hollweledig olwg Duw, ymherthynas i'r camweddau mawr a fum yn euog o'u gwneuthur; ond dialedd gwaed fy ngharenydd sydd yn gyflym yn fy erlid. O tydi, gorph gwaradwyddus, pa hyd y cedwi ynot. Yr enaid a ddylai farw ar gyfrif y gospedigaeth ddyledus iddo ddioddef, o herwydd mam a brawd a laddodd? Pa hyd y bydd i mi golli fy ngwaed defnyn ar ol defnyn? Cymmerent hwy ef i gyd, ac na siommer eu hysprydion yn hŵy âg ychydig ddarnau o'm hymysgaroedd a aberthir iddynt." Mor gynted ag y dywedodd y geiriau hyn, fe fu farw yn y cyfamser; pan na theyrnasasai ychwaneg nag un flwyddyn.

## PENNOD IV.

*Am weithredoedd Alexander Janneus, yr hwn a deyrnasodd saith mlynedd ar hugain.*

YN awr, y frenhines a ryddhaodd frodyr y brenin, ac a wnaeth Alexander yn frenin, yr hwn a ymddangosodd yn hynach mewn oedran, ac yn fwy cymhedrol yn ei dymmer na'r lleill. Wedi ei ddyfod ef i feddiant o'r llywodraeth, efe a laddodd un o'i frodyr, o chwant llywodraethu ei hun, ond y llall oedd ganddo mewn cyfrif mawr, megis un yn caru byw yn llonydd, heb gyffwrdd â matterion gwladol.

Yn awr, digwyddodd fod brwydr rhyngddo ef â Ptolemy Lathyrus, yr hwn a gymmerasai y ddinas Asochis. Efe, yn wir, a laddodd lawer o'i elynion, ond y fuddugoliaeth a ogwyddodd yn hytrach at Ptolemy. Ond pan erlidiwyd y Ptolemy hwn gan ei fam Cleopatra, a chilio o hono i'r Aipht, Alexander a warchaodd ar Gadara, megis y gwnaeth hefyd ar Amathus, yr hon oedd y gadarnaf o'r holl amddiffynfeydd oedd o amgylch yr Iorddonen: ac yno yr oedd y rhan werthfawrusaf o holl feddiannau Theodorus, mab Zeno. Ar hyn Theodorus a aeth allan i'w erbyn, ac a ail-gymmerodd y pethau a berthynent iddo ei hun, yn gystal a dodrefn y brenin, ac a laddodd ddeng mil o'r Iuddewon. Pa fodd bynnag, Alexander a wellhaodd o'r ergyd hwn, ac a ddychwelodd wyneb ei fyddin tu a'r parthau arforawl; a chymmerodd Rapha, a Gaza, gyd âg Anthedon; pa un, ar ol hynny, a alwyd Agrippias, gan y brenin Herod.

Ond wedi caethiwo o hono drigolion yr holl ddinasoedd hyn, cenedl yr Iuddewon, a derfysgasant ar yr ŵyl i'w erbyn. Canys ar y gwyliau hynny terfysgoedd yn fynnych a ddechreuid: ac yr ydoedd yn golygu na fyddai'n allu og i ddiangc rhag y brad a luniasent i'w ddifetha ef, pe na buasai i'w gynnorthwywyr dieithrol y Pisidiaid a'r Ciliciaid ei amddiffyn ef. Canys am y Syriaid ni adawodd iddynt

hwy un amser ddyfod i blith ei luoedd cyflogol, o herwydd eu gelyniaeth cynhwynol yn erbyn y genedl Iuddewig. Ac wedi iddo ladd mwy na chwe' mil o'r gwrthryfelwyr, fe wnaeth ruthr i Arabia. Ac wedi cymmeryd y wlad hono, ynghyd â'r Gileadiaid, a'r Moabiaid, gorchymmynodd iddynt dalu teyrnged iddo, ac a ddychwelodd i Amathus. Ac fel y rhyfeddodd Theodorus wrth ei lwyddiant, cymmerodd yr amddiffynfa, ac a'i difethodd hi.

Pa fodd bynnag, pan ymladdodd ag Obodus, brenin yr Arabiaid, yr hwn a osodasai gynllwyn iddo yn agos i Golan, ynghyd â bradwriaeth i'w erbyn, efe a gollodd ei holl fyddin, wedi crynhoi ynghyd mewn cwm dwfn, a'u mathru i farwolaeth gan liaws camelod. Ac wedi diangc o hono i Jerusalem, fe gythruddodd y lliaws, y rhai oedd yn ei gasâu o'r blaen, i gyfodi terfysg yn ei erbyn; a hyn ar gyfrif maintioli'r cyfyngder yr ydoedd ynddo. Pa fodd bynnag aeth y pryd hynny yn rhy galed iddynt: ac yn yr amrywiol frwydrau a fu rhyngddynt, efe a laddodd ddim llai na deng mil a dengain o'r Iuddewon yn yspaid chwech mlynedd o amser. Etto nid oedd ganddo un achos i lawenychu yn y buddugoliaethau hyn, pan nad oedd ond difetha ei deyrnas ei hun: hyd oni adawodd heibio ymladd o'r diwedd, ac ymdrechu dyfod i gymmodiad trwy ymddiddan â'i ddeiliaid. Ond yr ymddygiad cyfnewidiol ac anghyson hwn a barodd gasineb iddo etto yn rhagor. A phan ofynodd iddynt pa ham yr oeddynt yn ei gasâu felly, a pheth a wnai mewn trefn i'w dyhuddo hwynt? dywedasant wrtho mai ei ladd ei hun: oblegid mai'r pryd hynny'r oedd y cwbl a allent wneuthur i ymgymmodi ag ef, yr hwn a wnaethai'r fath droion gwaedlyd â hwynt, ïe, pan fyddai wedi marw. Ar yr un amser gwahoddasant Demetrius, yr hwn a elwid Eucerus, i'w cynnorthwyo hwynt. Ac megis y darfu iddo ef yn ebrwydd gydsynio â'u dymuniad, mewn gobaith o fanteision mawr, ac y daeth ym mlaen â'i fyddin, yr Iuddewon a ymgyssylltasant ag ef gyd â'r cynnorthwyadon hynny ynghylch Shechem.

Alexander a gyfarfu â'r lluoedd hyn gyd â mil o wŷr meirch, ac wyth mil o lôg-filwyr ydoedd ar draed. Yr ydoedd ganddo hefyd y rhan hynny o'r Iuddewon oedd yn ei ffafrio ef, hyd yn ddeng mil o nifer. Yn awr cyn iddynt ymgyssylltu'r frwydr, y brenhinoedd a wnaethant gyhoeddiad; gan ymdrechu i ddenu ymaith filwyr y naill o fyddin y llall, pan obeithiodd Demetrius ddenu llôg-filwyr Alexander i'w adael ef; ac Alexander yn disgwyl denu'r Iuddewon oedd gyd â Demetrius i'w adael yntef. Ond gan na fynnai'r Iuddewon adael heibio eu cynddaredd, na'r Groegiaid ddangos eu hunain yn anffyddlon, hwy a ddaethant i ymladdfa; yn yr hon Demetrius a brofodd yn orchfygwr, er gwneuthur o lôg-filwyr Alexander orchestion mawr. Etto darfu i'r canlyniad o'r frwydr hon brofi yn wahanol i'r hyn a ddisgwyliwyd ym mherthynas i bob un o honynt. Canys y rhai a wahoddasai Demetrius i ddyfod attynt, ni pharasant yn bûr iddo, er ei fod yn fuddugoliaethwr: a chwe' mil o Iuddewon, oddiar dosturi at gyfnewidiad cyflwr Alexander, pan ffoisai i'r mynyddoedd, a ddaethant trosodd atto ef. Demetrius ni allai oddef y tro hwn ar bethau; ond gan feddwl fod Alexander eisoes wedi dyfod drachefn yn gyfartal iddo ef, ac y byddai i'r holl genedl o'r diwedd ddychwelyd atto; yn ganlynol efe a ymadawodd â'r wlad.

Pa fodd bynnag, y rhan arall o'r lliaws Iuddewig, ni adawsant o'r neilldu eu cweryl ag Alexander, wedi i'r cynnorthwyadon dieithrol fyned ymaith. Ond yr oedd ganddynt ryfel gwastadol ag ef, hyd nes lladdodd y rhan fwyaf o honynt, a gyrru o hono'r lleill i'r ddinas Bemeselis: ac wedi iddo ddifrodi'r ddinas hono, efe a ddygodd y caethion ganddo ymaith i Jerusalem. Ië, ei gynddaredd a dyfodd i'r fath radd anghymmedrol, fel yr aeth ei greulondeb yn farbariaeth diderfyn. Canys wedi iddo orchymmyn wyth gant i gael eu crogi i fynu ar groesau ynghanol y ddinas, parodd dorri gwythi eu gwragedd a'u plant o flaen eu llygaid. A'r diheuyddiad hwn a edrychodd arno, fel ag yr oedd yn yfed, ac yn gorwedd gyd â'u ordderch-wragedd. Wrth hyn y fath ddwfn syndod a syrthiodd ar y bobl, fel, y nôs nesaf, y ffodd ymaith wyth mil o'i wrthwynebwyr, allan o holl Judea: ffoedigaeth pa rai yn unig a derfynwyd â marwolaeth Alexander. Felly o'r diwedd, er nad cyn hwyr, a chyd ag anhawsdra mawr, efe, trwy'r cyfryw weithredoedd, a barodd lonyddwch i'w deyrnas, ac a adawodd

heibio ymladd yn rhagor.

Etto darfu i'r Antiochus hwnnw, pa un a elwid hefyd Dionysus ddyfod yn ddechreuwr blinderau drachefn. Y dyn hwn ydoedd frawd Demetrius, a'r diweddaf o eppil y Seleucidæ. Alexander oedd yn ofnus o hono ef pan wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Arabiaid. Felly efe a dorrodd ffôs ddofn rhwng Antipatris, yn agos i'r mynyddoedd, a glennydd Joppa. Gwnaeth hefyd fûr uchel o flaen y ffôs, a thyrau coed arno, mewn trefn i rwystro agoshad disymmwth gelynion; ond etto ni allai gaëad Antiochus allan: canys efe a losgodd y tyrau, ac a lanwodd i fynu y ffosydd, ac a ddaeth â'i fyddin ym mlaen. Ac fel yr oedd yn edrych ar ymddial ar Alexander, am geisio ei attal, yn beth o lai canlyniad, efe a aeth yn uniongyrch ym mlaen yn erbyn yr Arabiaid. Brenin pa rai a giliodd i'r fath barthau o'r wlad ag oedd gymhwysaf i ymladd â'r gelyn: ac yna yn ddisymmwth a wnaeth i'w wŷr meirch ddychwelyd yn ol, y rhai mewn rhifedi oeddynt ddeng mil; a chwympasant ar fyddin Antiochus tra'r oeddynt mewn annhrefn. Brwydr ofnadwy yn awr a ddilynodd. Lluoedd Antiochus, cyhyd ag y bu efe byw, a'i hymladdodd allan, er gwneuthur lladdfa echryslon yn eu mysg gan yr Arabiaid: ond pan gwympodd efe, (canys yr ydoedd y tu blaen, mewn perygl mawr, yn trefnu ei fyddinoedd,) hwy oll a giliasant; a'r rhan fwyaf o'r fyddin a ddifethwyd un ai wrth ymladd, neu yn y ffoedigaeth. A'r gweddill, y rhai a ffoisant i bentref Cana, a fuont feirw o ddiffyg angenrheidiau, heblaw ychydig o honynt.

Ynghylch yr amser hwn pobl Damascus, oddi ar eu casineb i Ptolemy, fab Menneus, a wahoddasant Aretas i'r llywodraeth, ac a'i gwnaethant yn frenin Cœlesyria. Y gwr yma hefyd a wnaeth ymgyrch yn erbyn Judea, ac a gurodd Alexander mewn brwydr; ond ar ol hynny a giliodd ymaith trwy gyttundeb â'u gilydd. Ond Alexander wedi cymmeryd Pella, aeth rhagddo i Gerasa drachefn, oddiwrth y chwant cybyddlyd oedd ganddo i etifeddiaethau Theodorus. Ac wedi iddo wneuthur mûr triphlyg o gwmpas yr amddiffynfa, fe gymmerodd y lle trwy drais. Efe hefyd a ddadymchwelodd Golau, Seleucia, a'r hyn ag ydoedd ddyffryn Antiochus; a chymmerodd heblaw hyn amddiffynfa gadarn Gamala; ac a ddiosgodd Demetrius, yr hwn oedd y llywodraethwr, o'r hyn oedd ganddo ynddi, ar gyfrif amryw feiau a osodid arno ef; ac yna fe ddychwelodd i Judea, wedi bod dair o flynyddau cyfain yn yr ymgyrch hwn. Ac yn awr cafodd dderbyniad croesawgar gan y genedl o herwydd y llwyddiant da a gafodd. Felly, wedi iddo orphwys oddiwrth ryfel, fe syrthiodd i afiechyd, canys efe a flinwyd â chrŷd pob pedwerydd dydd: a chan feddwl wrth ymarfer ei hun drachefn mewn achosion rhyfel, y profai ymadawiad â'r anhwyldeb hwn. Ond trwy wneuthur y fath ymgyrch mewn amserau anaddas, a chan ymegnio ei hun i fyned trwy lafur mwy nag a allai oddef, efe a ddygodd ei hun i'w ddiwedd. Bu farw, gan hynny, ynghanol ei drallodau; wedi teyrnasu o hono saith ar hugain o flynyddau.*

## PENNOD V.

*Am deyrnasiad Alexandra, yn oed pa amser y Phariseaid oedd wir lywodraethwyr y Genedl.*

ALEXANDER a adawodd y deyrnas i'w wraig Alexandra; gan hyderu y byddai'r Iuddewon barod i ymostwng iddi hi; oblegid yr arferai fod yn dra gwrthwyneb i'r creulondeb a ddangosodd efe tu ag attynt, ac a ymdrechasai i ragflaenu ei drais o'r cyfreithiau, a thrwy hynny a ynnillasai ewyllys da y bobl. Ac ni chamsyniodd yn ei ddisgwyliadau am hyn. Canys y wraig hon a gynhaliodd y llywodraeth, trwy'r tybiau da oedd gan y bobl am ei duwioldeb. Canys hi yn bennaf a ddilynodd ddefodau hynafiaethol ei gwlad; ac a fwriodd y rhai hynny allan o'r llywodraeth a droseddasant yn erbyn eu sanctaidd gyfreithiau. Ac fel yr oedd iddi fab o Alexander, hi wnaeth Hyrcanus, yr hynaf, yn archoffeiriad, ar gyfrif ei oedran; ac hefyd, heblaw hynny, oblegid rhywiogrwydd ei dymmer; heb fod ganddo duedd trwy un ffordd i wneuthur aflonyddwch i'r cyffredin. Ond hi gadwodd Aristobulus, ei mab ieuangaf gyd â hi, fel person neillduol, o herwydd tanbeidrwydd ei naturiaeth. †

Ac yn awr y Phariseaid a unasant eu hunain â hi, i'w chynnorthwyo yn y llywodraeth. Plaid neillduol o'r Iuddewon yw y rhai hyn,

* Hynaf. XIII. 15.

† Hynaf. XIII. 16.

yn ymddangos yn fwy crefyddol nag eraill, ac a gymmerant arnynt ddeongli 'r cyfreithiau gyd â mwy o fanylrwydd. Yn awr Alexandra a a roddodd wrandawiad iddynt i raddau anarferol. gan ei bod yn wraig dra chrefyddol tu ag at Dduw. Ond y Phariseaid hyn a weithiasant eu hunain yn ddirgelaidd i'w ffafr o fesur ychydig ac ychydig: ac a ddaethant eu hunain yn brif weinyddwyr achosion y llywodraeth: hwy a alltudient ac a ddarostyngent y sawl a ddewisent; hwy ddodent* yn rhwym ac a ryddhaent ddynion wrth eu hewyllys; ac i ddywedyd y cwbl ar un gair, yr oedd ganddynt y meddiant o'r awdurdod frenhinol, tra 'r oedd y draul a'r anhawsdra o hono yn perthynu i Alexandra. Yr oedd hi yn wraig synhwyrgall yn nhrefniad achosion o fawr bwys; ac a'i gogwydd yn wastadol at grynhoi milwyr ynghyd: felly hi chwanegodd y fyddin yn un hanner ychwaneg; ac a gyflogodd corph lliosog o filwyr dieithrol; nes y daeth ei chenedl ei hun, nid yn unig yn alluog gartref, ond yn dra arswydus i bennaethiaid teyrnasoedd dieithr. Tra'r ydoedd hi, pa fodd bynnag, yn llywodraethu eraill, hitheu a lywodraethid gan y Phariseaid.

Yn ganlynol hwy a laddasant Diogenes, gwr o gyfrifiad, ac un a fuasai yn gyfaill Alexander; gan ei gyhuddo o fod wedi annog y brenin i groeshoelio yr wyth gant o ddynion a † raggrybwyllwyd. Cawsant Alexandra i gydsynio hefyd i roddi eraill i farwolaeth, y rhai a gythruddasent y brenin yn eu herbyn hwynt. Yn awr, yr ydoedd hi mor goel-grefyddol a chydsynio â'r hyn oll a ddymunent: ac yn ganlynol hwy a laddent pwy bynnag a'u hanfoddlonai. Ond y rhai oedd yn bennaf mewn perygl a ffoisant at Aristobulus; yr hwn a berswadiodd ei fam i arbed y gwŷr ar gyfrif eu graddau; ond eu bwrw hwynt allan o'r ddinas, oddieithr iddi eu cael yn ddiniweid. Felly gadawyd iddynt fyned yn ddigosp, a hwy a wasgarwyd tros yr holl wlad. Ond pan ddanfonodd Alexandra ei byddin allan i Damascus, tan esgus fod Ptolemy yn wastadol yn gorthrymmu'r ddinas honno, hi gafodd feddiant o honi. Ac ni wnaethpwyd gan y lle lawer o wrthwynebiad. Hi hefyd a ennillodd Tigranes, brenin Armenia, yr hwn oedd yn gorwedd gyd â'i luoedd ynghylch Ptolemais, yn cynllwyn i ‡ Cleopatra, trwy gyttundeb ac anrhegion i fyned ymaith. Yn ganlynol Tigranes a gododd yn fuan o'r cynllwyn, o achos y terfysgoedd cartrefol, pa rai a ddigwyddasant trwy wnenthur ymgyrch gan Lucullus i Armenia.

Yn y cyfamser, Alexandra a syrthiodd yn glaf: ac Aristobulus, ei mab ieuangaf, a ymaflodd yn y cyfleustra hwn, gyd â gwŷr ei deulu, o ba rai yr oedd llawer, y rhai oeddynt oll yn ffyddlon iddo, o herwydd sêl eu hieuengctyd, ac a gawsast feddiant o'r holl amddiffynfeydd. Efe hefyd a wnaeth ddefnydd o'r arian a gafodd ynddynt i gyflogi llôg-filwyr, ac a wnaeth ei hunan yn frenin. Ac heblaw hyn, ar achwyniad Hyrcanus wrth ei fam, hi dosturiodd wrth ei sefyllfa, ac a roddodd wraig Aristobulus, â'i feibion, tan ddalfa yn Antonia, yr hon ydoedd amddiffynfa ag oedd yn gyssylltedig â'r rhan ogleddol o'r deml: pa le, fel y dywedais § eisoes, ar y cyntaf a elwid y castell, ond ar ol hynny a gafodd yr enw Antonia, pan oedd Antony yn arglwydd y Dwyrain: yn gymmwys fel y cafodd dinasoedd eraill Sebaste, ac Agrippias, newid eu henwau; a rhoddi y rhai hyn iddynt oddiwrth Sebastus ‖ ac Agrippa. Ond Alexandra a fu farw cyn gallu o honi gospi Aristobulus, am ddifeddiannu ei frawd, ar ol iddi deyrnasu naw mlynedd. **

## PENNOD VI.

*Am y cweryl a gyfododd rhwng Hyrcanus ac Aristobulus, mewn perthynas i'r deyrnas; eu hymddygiad canlynol, a phenderfyniad eu hymryson gan Pompey.*

YN awr, Hyrcanus ydoedd etifedd y deyrnas; ac iddo ef y gorchymmynwyd hi gan ei fam cyn iddi farw. Ond Aristobulus oedd yn rhagori arno mewn gallu a mawrfrydigrwydd. A phan fu brwydr rhyngddynt gerllaw Jericho,

* Yma y mae gennym yr esponiad Iuddewig hynaf, a mwyaf awdurdodol, o rwymo a rhyddhau, am gospi a phardynu dynion; nid am ddangos gweithredoedd yn gyfiawn neu yn anghyfiawn, fel y mae rhai Iuddewon a Christionogion diweddar yn haeru. † Pen. 4.

‡ Pan yw Strabo yn adrodd. ddarfod gwarchae ar y Cleopatra hon gan Tigranes, nid yn Ptolemais, megis yma, ond ar ol iddi adael Syria yn Seleucia, castell ym Mesopotamia; ac yn chwanegu, mai ar ol ei chadw tros amser yngharchar, iddo ei dodi i farwolaeth: y Deon Aldrich a feddylia yma fod Strabo yn gwrthddywedyd Josephus, yr hyn nid yw'n ymddangos i mi. Canys er y dywedir gan Josephus yma, ac yn yr Hynafiaethau, XIII. 16. ddarfod gwarchae arni yn awr gan Tigranes yn Ptolemais, a chymmeryd o hono'r ddinas; etto nid yw yn un lle yn arwyddo iddo yn awr gymmeryd y frenhines hefyd. Felly dichon adroddiadau Strabo a Josephus fod etto yn wir er y cwbl.

§ Pen. 3. ‖ Augustus.

** Hynaf. XIII. 16.

i benderfynu'r amrafael ynghylch y deyrnas, y rhan fwyaf a adawsant Hyrcanus, ac a aethant trosodd at Aristobulus. Ond Hyrcanus, a'r rhai hynny o'i blaid a arosasant gyd ag ef, a ffoisant i Antonia; ac a gafodd tan ei awdurdod y gwystlyddion a allai fod er ei ddiogelwch; y rhai oeddynt wraig a phlant Aristobulus. Ond hwy a ddaethant i gyttundeb cyn i bethau fyned i'r eithaf: sef, y byddai i Aristobulus fod yn frenin, a Hyrcanus roddi hynny i fynu; eithr cadw yn ei feddiant swyddau derchafedig eraill, megis ei fod yn frawd y brenin. Ar hyn y cymmodwyd hwynt yn y deml, ac a gofleidiasant eu gilydd mewn modd tra charedig, tra'r oedd y bobl yn sefyll o'u hamgylch. Newidiasant hefyd eu trigfannau; pan yr aeth Aristobulus i'r tŷ brenhinol, a Hyrcanus i dŷ Aristobulus.

Yn awr y bobl eraill ag oedd mewn amryfusedd ag Aristobulus a ofnasant, o herwydd meddiannu o hono yn annisgwyliadwy y llywodraeth: ac yn enwedig* Antipater, yr hwn yr oedd Aristobulus yn ei gashau er's hir amser. Yr oedd efe o enedigaeth yn Idumead, ac yn un o'r rhai pennaf o'r genedl honno, ar gyfrif ei henafiaid a'i gyfoeth, ac awdurdodau eraill perthynol iddo ef. Efe hefyd a berswadiodd Hyrcanus i ffoi at Aretas, brenin Arabia, a gosod ger ei fron ei hawl i'r deyrnas. Ac efe a berswadiodd Aretas i wneud derbyniad o Hyrcanus, a'i ail-sefydlu yn ei lywodraeth. Bwriodd hefyd waradwyddiadau mawrion ar Aristobulus mewn perthynas i'w foesau; gan roddi canmoliaeth mawr i Hyrcanus, ac annog Aretas i'w dderbyn ef; a dywedyd pa mor ganmoladwy peth a fyddai iddo ef, yr hwn oedd yn llywodraethu y fath deyrnas ehang, i gynnorthwyo rhai y gwnelid cam â hwynt: gan sicrhau fod Hyrcanus yn cael triniaeth anghyfiawn, trwy gael ei ddifeddiannu o'r arglwyddiaeth oedd yn perthyn iddo trwy enedigaeth-fraint. Ac wedi rhag-dueddu pob un i wneud a geisiai ganddynt, fe gymmerodd Hyrcanus gyd ag ef liw nos, ac a ffodd ymaith o'r ddinas: a chan barhau ei ffŏedigaeth gyd â chyflymdra mawr, efe a gyrhaeddodd i'r lle a elwid Petra, ym mha le y mae llys frenhinol brenin Arabia: yno y dododd Hyrcanus yn llaw Aretas; ac wedi ymddiddan llawer ag ef, a'i ynnill trwy amryw anrhegion, cafodd ei gydsyniad i roddi byddin i Hyrcanus, fel y byddai iddo ei adferyd i'w deyrnas. Y fyddin hon oedd yn gynnwysedig o ddeng mil a deugain o wŷr traed a meirch; yn erbyn pa rai ni allai Aristobulus wneuthur dim gwrthwyneb: ond efe a adawyd ar ei ymosodiad cyntaf, ac a yrrwyd i Jerusalem. Cymmerasid ef ar y cyntaf trwy drais, pe na buasai i Scaurus, y cad-flaenor Rhufeinig ymddangos yn brydlon, a chodi'r cynllwyn. Y Scaurus hwn a ddanfonasid i Syria, o Armenia, gan Pompey y mwyaf, pan ymladdodd yn erbyn Tigranes. Felly Scaurus a ddaeth i Damascus, yr hon a gymmerasid yn ddiweddar gan Metellus a Lollius, ac a wnaeth iddynt adael y lle. Ac wedi clywed y modd yr oedd matterion Judea yn sefyll, efe a brysurodd yno, megis at ysglyfaeth sicr.

Cyn gynted, gan hynny, ag y daeth i'r wlad, daeth atto genhadwyr oddiwrth y ddau frodyr, a phob un o honynt yn deisyf ei gynnorthwy. Ond y tri chan talent o eiddo Aristobulus a bwysasant yn drymmach gyd ag ef na chyfiawnder yr achos. Yr hon swm pan dderbyniodd Scaurus, efe a ddanfonodd gennad at Hyrcanus a'r Arabiaid, gan eu bwgwth â dial y Rhufeiniaid, a Phompey, oddieithr iddynt godi y gwarchae. Felly Aretas a ddychrynwyd, ac a giliodd o Judea i Philadelphia, a Scaurus a ddychwelodd i Damascus. Ac ni foddlonodd Aristobulus ar fod wedi diangc o ddwylaw ei frawd, ond efe a gasglodd ei holl fyddinoedd ynghyd ac a erlidiodd ei elynion, ac a ymladdodd â hwynt mewn lle a elwid Papyron, gan ladd uwchlaw chwe' mil o honynt, ac, ynghyd â hwynt, brawd Alexandra, Phalion.

Wedi i Hyrcanus ac Antipater fel hyn gael eu hymddifadu o'u gobaith oddiwrth yr Arabiaid, trosglwyddasant yr unrhyw i'w gelynion. A chan fod Pompey† wedi myned rhagddo trwy Syria, hwy a ffoisant atto am gynnorthwy. Ac, ‡heb ddim gwobrwyon, gwnaethant yr un dad-

* Mai Idumead ydoedd yr Antipater hwn, tad Herod y Mwyaf, fel y crybwylla Josephus yma, gwel y nod ar Hynaf. XIV. 15.

† Y Deod Aldrich sy'n ein cyfeirio yma at amryw ysgrifenwyr hanesion Pompey, ymherthynas i'w ymgyrch hwn i Syria.

‡ Y mae peth tebygolrwydd, fel y meddylia Havercamp, ac mewn rhan Spanheim hefyd, mai'r copi Lladin yw'r cywiraf yma; ddarfod i Pompey gymmeryd yr amryw anrhegion a gynnygiwyd iddo gan Hyrcanus, fel ag y gwnaethai y lleill oddiwrth Aristobulus: er na âd i'w ymarbediad hynod rhag y 2000 o dalentau oedd yn y deml Iuddewig, pa un a gymmerodd ychydig ar ol hynny, ond yn brin yn rhoi lle i ni ymadael â'r copiau Groegaidd, y rhai oll a gyttunant na chymmerth y gwobrwyon.

leuon am uniondeb o'i flaen, ac a arferasent wrth Aretas: gan attolygu iddo geryddu ymddygiad treisgar Aristobulus, a threfnu y deyrnas i'r hwn ag yr ydoedd o gyfiawnder yn perthyn; yn gystal oblegid ei eirda, a'i ragoriaeth mewn oedran. Pa fodd bynnag, nid oedd Aristobulus yn ddiffygiol hefyd yn yr achos hwn, megis yn hyderu ar y gwobrwyon a dderbyniasai Scaurus. Yntau a fu yno hefyd, wedi ei addurno ei hun yn y modd mwyaf addas i sefyllfa frénhinol ag a fedrai. Ond efe yn fuan a dybiodd islaw iddo ymddangos mewn dull caethiwus, ac ni allai oddef gwasanaethu ei ddibenion ei hun mewn ffordd mwy gostyngedig nag a arferasai: felly fe ymadawodd * o Diospolis.

Wrth ei ymddygiad hwn yr oedd Pompey yn dra anfoddlon. Hyrcanus hefyd a'i gyfeillion a wnaethant erfyniau taerion at Pompey. Felly fe gymmerodd, nid yn unig ei luoedd Rhufeinig, ond amryw o'i gynnorthwywyr Syriaidd, ac a aeth yn mlaen yn erbyn Aristobulus. Ond wedi myned heibio i Pella a Scythopolis, a dyfod i Corea, lle'r ydys yn myned i Judea, pan eler i fynu iddi trwy barthau môr y y canoldir, clybu fod Aristobulus wedi ffoi i Alexandrium, yr hwn sydd le cadarn, wedi ei amddiffyn yn y modd ardderchoccaf, ac yn sefyll ar fryn uchel: ac efe a ddanfonodd atto ac a orchymmynodd iddo ddyfod i lawr. Yn awr ei dueddiad ydoedd i brofi ei ffortun wrth ymladd, gan ddarfod ei alw yn y fath fodd awdurdodol, yn hytrach na chydsynio â'r alwad hono. Pa fodd bynnag, yr oedd yn gweled y lliaws yn ddychrynedig, a'i gyfeillion a'i cynghorodd i ystyried, fod gallnogrwydd y Rhufeiniaid yn anwrthwynebol. Felly fe gydsyniodd â'u cyngor hwynt, ac a ddaeth i wared at Pompey: ac wedi gwneuthur hir amddiffyniad o hono ei hun, ac am uniondeb ei achos yn cymmeryd meddiant o'r llywodraeth, efe a ddychwelodd i'r amddiffynfa. Ac wedi i'w frawd ei wahodd drachefn i ddadleu ei achos, efe a ddaeth i wared, ac a lefarodd ynghylch y cyfiawnder o hono, ac yna a aeth ymaith heb ddim rhwystr oddiwrth Pompey. Felly'r oedd efe rhwng gobaith ac ofn. A phan ddeuai i lawr, yr ydoedd i geisio gan Pompey caniattau iddo'r llywodraeth yn gyfan-gwbl: a phan elai i fynu i'r castell, hynny ydoedd i ddangos nad oedd am ddarostwng ei hun yn rhy isel. Pa fodd bynnag, Pompey a orchymmynodd iddo roddi i fynu ei leoedd amddiffynol; ac a wnaeth iddo ysgrifennu at bob un o'u llywodraethwyr am eu rhoddi i fynu: ac â chanddynt y gorchymmyn hwn wedi ei roddi iddynt, nad ufuddhaent i ddim llythyrau ond a fyddai o'i law-ysgrifen ei hun. Yn ganlynol efe a wnaeth yr hyn a orchymmynid iddo; ond etto'r oedd anfoddlondeb ganddo tu ag at yr hyn a wnaethpwyd, a chilio a wnaeth i Jerusalem, ac ymbarottoi i frwydr. Pompey, pa fodd bynnag, ni chaniattaodd amser iddo i wneuthur parodrwydd at gynllwyn; ond a'i canlynodd wrth ei sodlau. Yr ydoedd hefyd yn rhwym i wneuthur brys yn ei ymosodiad, trwy farwolaeth Mithridates; o'r hyn y derbyniodd hyspysrwydd ynghylch Jericho. Yn awr, dyma'r lle ffrwythlonaf o wlad Judea, ag sydd yn dwyn rhifedi mawr o balmwydd; heblaw y pren balsam; blagur pa un a dorrant â cherrig miniog; ac o'r torriadau y casglant sûg neu nodd, ag sydd yn diferu i lawr fel dagrau. Felly Pompey a wersyllodd yn y lle hwnnw un noson, ac yna fe brysurodd i fyned ymaith y bore nesaf i Jerusalem. Ond Aristobulus oedd yn y fath ddychryn ar ei agoshâd, fel y daeth i'w gyfarfod mewn dull o ymbil âg ef. Addawodd hefyd iddo arian, a rhoddi ei hun a'r ddinas i fynu wrth ei drefniad ef; a thrwy hynny fe larieiddiodd ddigofaint Pompey. Etto ni chyflawnodd ddim o'r ammodau a gyttunodd arnynt: canys ni fynnai plaid Aristobulus gymmaint a chaniattau dyfodfa i Gabinius i'r ddinas, yr hwn a ddanfonasid i dderbyn yr arian a addawsai efe.

## PENNOD VII.

*Am ddyfodiad Pompey i mewn i Jerusalem; cymmeriad a halogiad y deml; a damweiniau eraill a ddigwyddodd yn Judea.*

POMPEY ydoedd dra digllon wrth ymddygiad Aristobulus, yr hwn a'i cymmerodd ac a'i rhoddodd mewn dalfa: ac wedi ei ddyfod at y ddinas, efe a edrychodd o amgylch i weled pa le y gallai wneuthur ymosodiad arni: canys fe ganfu'r muriau mor gedyrn a'u bod yn anhawdd eu dadymchwelyd: a bod y pantle o

* Neu i'r ddinas Dios. Gwel Hynaf. XIV. 1.

flaen y muriau yn dra dwfn; ac hefyd fod y deml, yr hon oedd o fewn i'r pant neu'r dyffryndir hwnnw, ei hun wedi ei chwmpasu â mûr tra chadarn. Yn gymmaint ag os cymmerid y ddinas, y byddai'r deml honno yn ail-le i'r gelyn i gilio iddo.

Yn awr, fel ag yr oedd yn hir yn ystyried ynghylch yr achos hwn, ymryson a gyfododd ym mysg y bobl o fewn i'r ddinas. Plaid Aristobulus ydoedd foddlon i ymladd, ac i ryddhau eu brenin: tra'r oedd plaid Hyrcanus am agoryd y pyrth i Pompey. Ac arswyd y bobl a barodd i'r rhai diweddaf fod yn blaid dra lliosog, pan welsant y drefn ragorol ag yr ydoedd y milwyr Rhufeinig ynddo. Felly plaid Aristobulus a waethygwyd, a chilio a wnaethant i'r deml; a thorrasant ymaith y cyfryngffordd rhwng y deml a'r ddinas, trwy fwrw i lawr y bont oedd yn eu cyssylltu ynghyd; a pharottoisant i wneuthur gwrthwynebiad hyd yr eithaf. Ond fel ag yr oedd y lleill wedi derbyn y Rhufeiniaid i'r ddinas, Pompey a ddanfonodd Piso, un o'i ben-swyddogion, i mewn i'r palas, gyd â byddin, y rhai a ddosparthodd wersyllfa o amgylch y ddinas; o herwydd na's gallai berswadio un o'r rhai a ffoisai i'r deml i ddyfod i ammodau o gyttundeb. Yna fe drefnodd bob peth ag oedd o amgylch mewn modd cyfleus at wneuthur ymosodiad; megis â chanddo blaid Hyrcanus yn barod i roddi cyngor a chynnorthwy iddynt.

Ond Pompey ei hun a lanwodd i fynu y dyfr-flôs oedd ar du gogledd y deml, a'r holl bantle hefyd; ac â'r fyddin ei hun yn gorfod cludo defnyddiau i'r pwrpas hwnnw. Ac yn wir yr ydoedd yn beth anhawdd llenwi i fynu y pantle hwnnw oblegid ei ddyfndwr annhraethol; yn enwedig gan fod yr Iuddewon yn arfer pob moddion i'w gyrru ymaith o'u manteisiol sefyllfa. Ac ni fuasai y Rhufeiniaid yn llwyddo yn eu hymdrechiadau, pe na buasai Pompey yn cymmeryd sulw o'r seithfed dydd; ar ba rai yr ymgeidw'r Iuddewon oddiwrth bob math o waith ar gyfrifiad crefyddol: gan gyfodi ei wrthglawdd, ond a attaliodd y milwyr i ymladd ar y dyddiau hynny. Canys ni wnai'r Iuddewon oud gweithredu mewn modd amddiffynnol ar y dyddiau hynny. Ond mor gynted ag y llanwyd y cwm neu'r pantle i fynu gan Pompey, efe a adeiladodd dyrau ar y gwrthgloddiau, ac a ddug yno'r peiriannau, y rhai a gyrchwyd o Tyre, yn agos i'r mûr, gan wneuthur cynnygiad i'w guro i lawr. Ond y rhai a ergydient gerrig â ffyn-tafl, a gurent ymaith y rhai a safent uwchlaw iddynt, a pharent iddynt ffoi. Ond y tyrau y naill ochr i'r ddinas a wnaethant wrthwynebiad mawr; ac oeddynt yn wir yn rhagori o ran eu maintioli a'u gwychder.

Yn awr, yma y bu, wedi'r caledi a fu'r Rhufeiniaid tano, na fedrai Pompey amgen na rhyfeddu, nid yn unig wrth siamplau eraill o wroldeb yr Iuddewon, ond ynenwedig am na adawsent o'r neilldu eu gwasanaeth crefyddol, ïe, pan fyddai'r saethau yn ehedeg o'u cwmpas ar bob ochr. Canys megis pe buasai'r ddinas mewn perffaith heddwch, eu haberthau beunyddiol, a'u puredigaeth, a phob cangen arall o'u crefyddol addoliad a gyflawnid gyd â'r manylrwydd mwyaf. Nac yn wir, pan gymmerwyd y deml yn weithredol, ac y lladdwyd hwy beunydd o amgylch y deml, y darfu iddynt adael heibio eu dwyfol addoliad appwyntiedig gan eu cyfraith: canys yr ydoedd yn y trydydd mis o'r cyllwyn, cyn gallu o'r Rhufeiniaid, ïe, gyd â mawr anhawsdra, ddadymchwelyd un o'r tyrau, a threiddio i mewn i'r deml. Yn awr, yr un a anturiodd gyntaf tros y mûr ydoedd Faustus Cornelius, mab Sylla; a'r rhai nesaf ar ei ol ef ydoedd ddau ganwriad, Furius a Fabius. A phob un o'r rhai hyn a ganlynid â mintai o'u milwyr eu hunain, y rhai a gylchynasant yr Iuddewon ar unwaith o bob tu, ac a'u lladdasant; rhai o honynt yn eu rhediad am noddfa i'r deml; ac eraill fel yr oeddynt tros amser yn ymladd er eu hunan amddiffyniad. *

Ac yn awr y bu i amryw o'r offeiriaid, ïe, pan oedd eu gelynion yn rhuthro arnynt â'u cleddyfau yn eu dwylaw, fyned ym mlaen â'u dwyfol addoliad, ac a laddwyd tra'r oeddynt yn offrymmu eu diod-offrwm, ac yn llosgi eu harogl-darth: gan wneuthur dewisiad o gyflawni eu dyledswydd ynghylch addoliad Duw, o flaen diogelu eu hunain. Y rhan fwyaf o honynt a laddwyd gan eu gwladwyr eu hunain o'r blaid wrthwynebol; a lliaws dirifedi a fwriasant eu hunain i lawr bendramwnwgl tros y dibyn. Ië, rhai o honynt, wedi eu gwallgofi gymmaint gan

* Hynaf. XIV. 4.

y blinderau yr oeddynt tanynt, a osodasant y tai oedd yn agos i'r mûr ar dân, ac a gyd-losgwyd â hwynt. Yn awr o'r Iuddewon fe laddwyd oll ynghylch deuddeg mil; ond o'r Rhufeiniaid ychydig a laddwyd, eithr nifer fwy a archollwyd.

Ond nid oedd dim yn effeithio ar y genedl gymmaint, yn y trallod yr oeddynt tano, a bod eu lle sanctaidd, yr hwn ni welsid gan neb o'r blaen, wedi ei osod yn agos o flaen dieithriaid. Canys * Pompey, a'r rhai oedd gyd ag ef, a aeth i mewn i'r deml ei hun, lle nad oedd gyfreithlon i neb fyned ond yr archoffeiriad, ac a welodd yr hyn a osodasid i fynu ynddi: y canhwyllbren, y lampau, y bwrdd, y llestri tywallt, a'r thuserau; y cwbl yn wneuthuredig o aur: megis hefyd mesur mawr o bêr-lysiau wedi eu pentyrru ynghyd; gyd â dwy fil o dalentau o arian cyssegredig. Etto ni chyffyrddodd efe â'r arian hynny, nac â dim arall a osodasid i fynu yno. Ond efe a orchymynodd i'r gweinidogion ynghylch y deml, y dydd nesaf wedi iddo ei chymmeryd, ei glanhau, ac offrymmu eu defodol aberthau. Ynhellach, efe a osododd Hyrcanus yn archoffeiriad, fel un nid yn unig a ddangosasai mewn ystyriaethau eraill, lawer o ffyddlondeb o'i blaid yn amser y gwarchae, ond fel ag yr ydoedd wedi bod yn foddion i rwystro'r lliaws yn y wlad i ymladd tros Aristobulus; yr hyn yn amgen oeddynt dra pharod i'w wneuthur: trwy ba foddion efe a weithredodd ran un o'r blaenoriaid goreu; ac a gymmododd y bobl yn fwy ag ef ei hun trwy dynerwch na thrwy ddychryn. Yn awr ym mysg y caethion yr oedd tad-ynghyfraith Aristobulus wedi ei gymmeryd, yr hwn hefyd ydoedd ei ewythr. Felly y rhai oedd fwyaf euog efe a'u cospodd a thorri ymaith eu pennau; ond efe a wobrwyodd Faustus, a'r rhai oedd gyd ag ef, a ymladdasent mor wrol, ag anrhegion costfawr; ac efe a osododd deyrnged ar y wlad, ac ar Jerusalem ei hun.

Efe hefyd a dynnodd oddiwrth y genhedlaeth yr holl ddinasoedd hynny a gymmerasent gynt, ac a berthynent i Cœlesyria; ac a'u gwnaeth yn ddarostyngedig i'r sawl a osodwyd y pryd hynny yn rhaglaw yno tros y Rhufeiniaid; a chynnwysodd Judea o fewn i'w therfynau priodol. Efe hefyd a ail-adeiladodd † Gadara, a ddadymchwelasid gan yr Iuddewon, mewn trefn i foddhau un Demetrius, yr hwn ydoedd o Gadara, ac oedd un o'i wŷr rhyddion ei hun. Gwnaeth hefyd ddinasoedd eraill yn rhydd oddiwrth eu harglwyddiaeth, ag ydoedd â'u sefyllfa ynghanol y wlad; y cyfryw ydwyf yn ei feddwl, ar na ddifrodasent cyn y pryd hynny. Hippos, a Scythopolis: megis hefyd Pella, Samaria, a Marissa: ac, heblaw y rhai hyn, Ashdod, Jamnia, ac Arethusa: ac yn yr un modd y gwnaeth â'r dinasoedd arforawl, Gaza; Joppa, a Dora; a'r hon a elwid gynt Tŵr Strato; ond ar ol hyny a ail-adeiladwyd, ac a'i newidiwyd i Cesarea, gan y brenin Herod; y rhai oll a adferodd i'w dinasyddion, ac a'u dododd tan raglawiaeth Syria; pa ryw dalaith, ynghyd â Judea, a'r gwledydd cyn belled â'r Aipht ac Euphrates, fe'u gorch'mynodd i Scaurus fel eu llywodraethwr; gan roddi atto ddwy leng o filwyr i'w amddiffyn ef. Yna y gwnaeth pa ryw frys a allai i fyned trwy Cilicia yn ei ffordd i Rufain, ac â chanddo Aristobulus, a'i blant gyd ag ef megis caethion; y rhai oeddynt ddwy ferch, a dau o feibion: un o ba rai, Alexander, a ddiangodd ar y ffordd yno; ond yr ieuangaf, Antigonus, gyd â'i chwiorydd, a ddygwyd i Rufain.‡

## PENNOD VIII.

*Alexander, mab Aristobulus, yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn Hyrcanus; ond wedi ei orchfygu gan Gabinius, yn rhoddi i fynu'r amddiffynfeydd iddo ef. Aristobulus yn diangc o Rufain, ac yn crynhoi byddin; ond wedi ei orchfygu gan y Rhufeiniaid, yn cael ei ddwyn yn ol drachefn i Rufain. Hefyd, achosion Gabinius, Crassus, a Cassius.*

YN y cyfamser Scaurus a wnaeth ymgyrch i Arabia; ond efe a attaliwyd trwy anhawstra'r ffordd ynghylch Petra. Pa fodd bynnag, efe a anrheithiodd y wlad ynghylch Pella, er ei fod hyd y nod yno mewn caledi mawr, a'i fyddin wedi cyfyngu arni gan newyn. I ddiwallu eisiau, pa fodd bynnag, Hyrcanus a ddanfonodd

* Y modd hwn y dywed Tacitus "Pompeius yn gyntaf a ddarostyngodd yr Iuddewon, ac a aeth i mewn i'r deml gyssegredig trwy hawl buddugoliaeth:" ac ni chyffyrddodd â dim o'i chyfoeth, fel y sylwiwyd ar le cyfartal o'r Hynaf. XIV. 4. allan o waith Cicero ei hun.

† Arian bathedig y Gadara hon, pa rai a welir etto, a'u dyddiad er yr amser hwn, sydd dystiolaeth eglur o'i hail-adeiladaeth yma gan Pompey, fel y mae Spanheim yn sicrhau i ni.

‡ Hynaf. XIV. 4.

gymmorth iddo, gan ei ddianghenu âg ymborth trwy offerynoldeb Antipater: yr hwn hefyd a ddanfonodd Scaurus at Aretas, megis un yn adnabyddus ag ef, i'w ddenu i dalu arian iddo fel pryniad ei heddwch. Brenin Arabia a * gydunodd â'r cynnygiad hwn, ac a roddodd iddo dri chant o dalentau. Ar hynny Scaurus a dynnodd ei fyddin allan o Arabia.

Yn awr Alexander, mab Aristobulus, yr hwn a ffodd ymaith oddiwrth Pompey, a gafodd lu mawr o ddynion ynghyd, ac a ymosododd yn drwm ar Hyrcanus, ac a redodd tros Judea, gan fod yn debyg i'w goresgyn ar fyrder: ac yn wir fe ddaethai i Jerusalem, ac a anturiasai gyfodi'r muriau a fwriwyd i lawr gan Pompey, pe na buasai i Gabinius, yr hwn a anfonasid yn ddilynydd i Scaurus i Syria, ddangos ei wrolder, fel mewn amryw bethau eraill, felly yn gwnenthur ymgyrch yn erbyn Alexander. Yr hwn, ag efe yn ofni cael ei orddiwes ganddo, a gasglodd ynghyd fyddin liosog o ddeng mil o wŷr traed, a phymtheg cant o wŷr meirch. Gwnaeth furiau hefyd o amgylch lleoedd pennodol; Alexandrium, Hyrcanium, a Marchœrus, oedd yn gorwedd ar fynyddoedd Arabia.

Pa fodd bynnag, Gabinius a ddanfonodd o'i flaen Marcus Antonius, ac a ganlynodd ei hun gyd â'i holl fyddin. Ond y llu detholedig o filwyr oedd yngylch Antipater, a chorph arall o filwyr ag oedd tan Malichus, a Phitholaus, a ymgyssylltasant eu hunain â'r cadbeniaid ag ydoedd gyd â Marcus Antonius, a chyfarfuant ag Alexander: a'r corph yma a gyssylltwyd ar fyrr yn ol hynny â Gabinius, gyd â'i brif fyddin. Ac fel nad oedd Alexander yn allnog i sefyll ymosodiad oddiwrth y fath fyddin, yn awr, wedi cydymgyssylltu, efe a giliodd ymaith. Ond wedi ei ddyfod yn agos i Jerusalem, gorfyddodd iddo ymladd, a chollodd chwe' mil o wŷr yn y frwydr; tair mil o honynt a syrthiasant i lawr yn feirwon, a thair mil a gymmerwyd yn fyw. Felly efe a ffôdd gyd â'r gweddill o honynt i Alexandrium.

Wedi i Gabinius ddyfod i Alexandrium, o herwydd cael o hono lawer yn gwersyllu yno; fe geisiodd, trwy addo pardwn iddynt am eu troseddiadau a aethant heibio, eu denu trosodd atto ef, cyn eu dyfod i ymladdfa. Ond pan na fynent wrando ar ddim ammodau o gyttundeb, fe laddodd nifer mawr o honynt, ac a gauodd i fynu ar lawer yn y castell. Yn awr, Marcus Antonius, eu blaenor, a hynododd ei hun mewn gwrolder yn y frwydr hon. Ond Gabinius, gan adael llu digonol ar ol i gymmeryd y castell, a aeth ymaith; ac a ail sefydlodd y dinasoedd na ddadymchwelwyd, ac a adferodd y rhai a anrheithiasid. Yn ganlynol, wrth ei orchymmyn ef, y dinasoedd canlynol a adferwyd; Scythopolis, Samaria, Anthedon, Apollonia, Jamnia, Raphia, Marissa, Adoreus, Gamala, Ashdod, a llawer eraill: pan y darfu i nifer mawr o bobl gyd â pharodrwydd, fyned i bob un o honynt, a dyfod yn drigolion.†

Wedi darfod i Gabinius ofalu tros y dinasoedd hyn, efe a ddychwelodd i Alexandrium, gan wasgu yn mlaen y cynllwyn. Felly wedi i Alexander anobeithio cael y llywodraeth, efe a ddanfonodd gennadwyr atto, gan attolygu iddo faddeu'r hyn y troseddodd ynddo i'w erbyn: ac a roddodd i fynu iddo weddill yr amddiffynfeydd, Hyrcanium a Macherus; megis y rhoddodd Alexandrium i'w ddwylaw yn ol hynny. Y rhai hyn oll a ddifrododd Gabinius trwy annogaeth mam Alexander; fel na byddent yn dderbynfa dynion mewn ail ryfel. Yr ydoedd hi yn awr yno mewn trefn i dyneru Gabinius; oddiar ei gofal am ei pherthynasau ag oedd yn gaethion yn Rhufain; y rhai oeddynt ei gwr, a'i phlant eraill. Ar ol hyn Gabinius a ddygodd Hyrcanus i Jerusalem; ac a orchymmynodd ofal y deml iddo ef; ond a ordeiniodd y llywodraeth wladol i fod yn un bendefigaidd. Efe hefyd a rannodd yr holl deyrnas i bump o gymmanfaoedd, neu luoedd o ymgyfarfod i sefydlu achosion y genedl: gan bennodi un rhan i Jerusalem; arall i Gadara; a bod un arall i berthynu i Amathus; y bedwerydd i Jericho; ac i'r pummed dosparth y trefnwyd Sepphoris, dinas yn Galilea. Felly y bobl ydoedd dda ganddynt y modd hwn gael eu rhyddhau oddiwrth lywodraeth frenhinol; ac a lywodraethwyd yn ol hynny gan bendefigion.

* Cymmer yr un dystiolaeth o wirionedd yr ymostyngiad hwn gan Aretas, brenin Arabia, i Scaurus, y cad-flaenor Rhufeinig, yngeiriau y Deon Aldrich. "Oddi yma, eb efe, y tardda'r hen a'r enwog Denarius, perthynol i deulu'r Emiliaid, a ddangosir yn argraphiad Havercamp; lle mae Aretas yn ymddangos mewn dull ymbilgar; a chan afaelu yn ffrwyn camel â'i law aswy; ac â'i ddeheulaw yn estyn cangen o bren thus, gyd âg enwau Scaurus ac Aretas yn argraphedig arni.

† Hynaf. XIV. 5.

Etto darfu i Aristobulus beri achos o aflonyddwch. Efe a ffôdd ymaith o Rufain, ac a gafodd ynghyd drachefn amryw o'r Iuddewon ag oedd yn chwennychu cyfnewidiad; y rhai a ddygasant ewyllys da iu ag atto o'r blaen. Ac wedi iddo gymmeryd Alexandrium, efe a gynnygiodd adeiladu mûr o'i hamgylch. Ond cyn gynted ag y danfonodd * Gabinius fyddin i'w erbyn tan Sisenna, Antonius, a Servilius, gwybu yn brydlon am dano, ac a ffodd i Macherus, ac am y lliaws diddefnydd, fe'u gollyngodd hwynt ymaith: ac yn unig a aeth ym mlaen rhagddo, gyd â'r rhai a arfogwyd; y rhai yr oedd eu cyfrif ynghylch wyth mil. Ym mhlith y rhai hyn yr oedd Pitholaus; yr hwn a fuasai yn rhaglaw yn Jerusalem; ond a giliodd at Aristobulus, gyd â mil o'i wŷr. Felly y Rhufeiniaid a'i dilynasant ef: ac wedi dyfod i frwydr, plaid Aristobulus a ymladdasant tros hir amser yn gefnog; ond o'r diwedd hwy a orchfygwyd gan y Rhufeiniaid: a phum mil o honynt a syrthiasant i lawr yn feirwon; ac ynghylch dwy fil a ddiangasant i ryw fynydd bychan gerllaw. Ond y fil oedd yn aros gyd ag Aristobulus a dorrasant trwy fyddin y Rhufeiniaid, ac a aethant rhagddynt ynghyd i Macherus. Ac wedi i'r brenin lettŷa un noswaith ar ei murddyn, yr ydoedd yn gobeithio codi byddin arall, os byddai i'r rhyfel orphwys ond ychydig. Yn ganlynol fe amddiffynodd y lle cadarn hwnnw, er na wnaethpwyd ond mewn dull tlodaidd. Ond y Rhufeiniaid gan syrthio arno, efe a'u gwrthsafodd, ïe, tu hwnt i'w allu tros ddeuddydd, ac yna fe'i cymmerwyd, ac a ddygwyd yn garcharor at fab Gabinius, yr hwn a ffoisai ymaith gyd ag ef o Rufain. Ac oddiwrth Gabinius efe a ddygwyd i Rufain drachefn. O herwydd paham y senedd a'i dododd tan rwymau; ond a ddychwelasant ei blant yn ol i Judea: o herwydd i Gabinius hyspysu iddynt trwy lythyrau, addaw o hono wneuthur hynny wrth wraig Gabinius, am roddi o honi'r amddiffynfeydd i fynu iddo ef.

Ond yn awr, fel yr oedd Gabinius yn myned rhagddo i ryfel yn erbyn y Parthiaid, fe'i lluddiwyd gan Ptolemy; yr hwn ar ei ddychweliad o Euphrates a ddygodd yn ol i'r Aipht: gan wneuthur defnydd o Hyrcanus ac Antipater, i arlwyo pob peth angenrhaid i'r ymgyrch hwn. Canys Antipater a'i diwallodd ag ariau, arfau, ŷd, a chynnorthwyadon o filwyr. Efe hefyd a berswadiodd yr Iuddewon oedd yno, ac yn gwylio'r ffyrdd yn Pelusium, i ganiattau mynedfa iddynt ym mlaen. Ond yn awr yn absennoldeb Gabinius, y rhan arall o Syria ydoedd mewn cynnwrf; ac Alexander, mab Aristobulus, a ddygodd yr Iuddewon i derfysg drachefn. Yn ganlynol efe a gynnullodd ynghyd fyddin dra lliosog, ac a ymosodasant ar y gwaith o ladd yr holl Rufeiniaid oedd yn y wlad. Ar hyn Gabinius a ofnodd, (canys yr ydoedd wedi dychwelyd eisoes o'r Aipht o achos y terfysgoedd hyn,) ac a ddanfonodd Antipater; yr hwn a ynnillodd rai o'r terfysgwyr i fod yn llonydd. Pa fodd bynnag deng mil ar hugain a barhasant gyd ag Alexander, yr hwn oedd ei hun yn awyddus i ymladd. Yn ganlynol Gabinius a aeth allan, a'r Iuddewon a gyfarfuant ag ef; ac fel yr ymladdwyd y frwydr yn agos i fynydd Tabor, deg mil o honynt a laddwyd; a gweddill y lliaws a wasgarasant eu hunain, ac a ffoisant ymaith. Felly Gabinius a ddaeth i Jerusalem; ac a sefydlodd y llywodraeth megis ag y mynnai Antipater. Yna'r aeth ymaith ac a ymladdodd, a chorodd y Nabateaid. Am Mithridates ac Orsanes, y rhai a ffoisant o Parthia, danfonodd hwynt ymaith yn ddirgel; ond a roddodd air allan ym mhlith y milwyr ddarfod iddynt ffoi.

Yn y cyfamser Crassus a ddaeth yn ddilyniedydd Gabinius yn Syria. Efe a gymmerodd ymaith yr holl weddill o aur a berthynai i'r deml yn Jerusalem; mewn trefn i'w ddiwallu ei hun yn ei ymgyrch. Efe hefyd a gymmerodd ymaith y ddwy fil o dalentau, y rhai ni chyffyrddasai Pompey â hwynt. Ond wedi iddo fyned tros Euphrates fe ddarfu am dano ei hun, a'i fyddin gyd ag ef. Ymherthynas i'r achos o hynny, nid yw gyfleus llefaru yn helaethach yn bresennol.

Yn awr, Cassius ar ol Crassus, a ddododd attalfa ar y Parthiaid, y rhai oedd ar eu taith i fyned i mewn i Syria. Cassius a ffoisai i'r dalaith honno: ac wedi cymmeryd meddiant

* Yr hanes yma a gadarnheir gan Dio Cassius; XXXIX. t. d. 117. oddigerth ei gam-gymmeriad, mai er bod Gabinius yn awr yn Judea, cyn ei fyned i lawr i'r Aipht; ac megis pe darostyngasai Aristobulus trwy ei lafur ei hun: yr hyn oddiyma a ymddengys, na wnaeth trwyddo ei hun, ond trwy ei dri rhaglawiaid yn unig, Sisenna, Antonius, a Servilius.

o'r unrhyw, efe a gyrchodd gyd â brys i Judea. Ac ar ei waith yn cymmeryd Tarichear, efe a ddygodd ymaith drugain mil o'r Iuddewon yn gaethion. Efe hefyd trwy annogaeth Antipater, a laddodd Pitholaus, yr hwn a gynnaliasai ganlynwyr ymrysongar Aristobulus. Yn awr, Antipater a briododd wraig o deulu enwog ym mhlith yr Arabiaid, enw'r hon ydoedd Cypres; a ganwyd iddo o honi bedwar o feibion; Phasaelus; a Herod, yr hwn oedd frenin yn ol hynny; ac heblaw y rhai hyn, Joseph a Pheroras; ac yr ydoedd iddo ferch, enw pa un oedd Salome. Yn awr, fel ag y gwnaeth iddo ei hun gyfeillion o ddynion âg awdurdod ganddynt ym mhob lle, trwy'r cymmwynasau caredig a wnai iddynt, a'r dull haelionus ag y croesawodd hwynt: felly efe a ynuillodd gymdeithasrwydd mwyaf â brenin Arabia wrth briodi ei berthynas. Yn gymmaint a phan y gwnaeth ryfel ag Aristobulus, efe a ddanfonodd ac a ymddiriedodd ei blant i'w ofal ef. Felly wedi i Cassius wneuthur i Alexander ddyfod i ammodau, ac i fod yn llonydd, efe a ddychwelodd i Euphrates i rwystro y Parthiaid i ail-fyned trosti. Ymherthynas i ba fatter, nyni a lefarwn mewn lle arall.

## PENNOD IX.

*Aristobulus a'i fab Alexander yn cael eu rhoddi i farwolaeth; y cyntaf gan gymdeithion Pompey, a'r diweddaf gan Scipio. Antipater yn dyfod i gyfeillach â Cæsar, ar ol marw Pompey; y mae hefyd yn cyflawni gweithredoedd mawrion yn y rhyfel hwnnw, ym mha un y mae'n cynnorthwyo Mithridates.*

YN awr, ar ffoedigaeth Pompey, a'r senedd, tu hwnt i fôr Ionia, Cæsar a gafodd Rufain, a'r ymerodraeth tan ei awdurdod, ac a ryddhaodd Aristobulus o'i rwymau. Rhoddodd hefyd tan ei ofal ddwy leng o filwyr, ac a'u danfonodd gyd â brys i Syria: gan obeithio trwyddo ef allu yn hawdd ddarostwng y wlad honno, a'r parthau cyssylltedig â Judea. Ond cynfigen a rwystrodd effaith ymdrechiadau Aristobulus, ac a siomnodd ddisgwyliadau Cæsar, canys efe a symmudwyd ymaith trwy wenwyn, a roddwyd iddo gan rai o blaid Pompey: a thros hir amser ni ddarfu weini cymmaint a chladdedigaeth iddo yn ei wlad ei hun: ond ei gorph marw a orweddodd ar wyneb y ddaear, wedi ei suddo mewn mêl, nes ei ddanfon i'r Iuddewon gan Antony, mewn trefn i'w gladdu yn y beddrod brenhinol.

Ei fab Alexander hefyd a dorrwyd ei ben ymaith gan Scipio, yn Antioch, a hynny wrth orchymmyn Pompey; ac oddiwrth gyhuddiad a osodwyd yn ei erbyn o flaen ei frawdle, am y drygau a wnaethai i'r Rhufeiniaid. Ond Ptolemy, mab Menneus, yr hwn, y pryd hynny, oedd reolwr Chalcis tan Libanus, a gymmerodd ei frodyr atto ef, trwy ddanfon ei fab Philippio i'w cyrchu o Ascalon: yr hwn a gymmerodd Antigonus, yn gystal a'i chwiorydd, ymaith oddiwrth wraig Aristobulus, ac a'u dygodd hwynt at ei dad. A chan syrthio mewn cariad â'r ferch ieuangaf, efe a'i priododd hi: ond efe a laddwyd yn ol hynny gan ei dad o'i phlegid hi. Canys Ptolemy ei hun, wedi lladd ei fab, a'i priododd hi, enw pa un ydoedd Alexandra: ar gyfrif pa briodas efe a gymmerodd fwy gofal am ei brawd a'i chwaer.

Yn awr, wedi marw Pompey, Antipater a newidiodd ei ochr, ac a dynnodd gyfeillach â Cæsar. A chan fod Mithridates o Pergamus, gyd â'r lluoedd a arweiniasai yn erbyn yr Aipht wedi ei lysu i fyned trwy'r dramwyfa ynghylch Pelusium, a gorfod arno aros yn Ascalon; efe a berswadiodd yr Arabiaid ym mysg pa rai y buasai yn aros, i'w gynnorthwy ef; ac a ddaeth ei hun atto ef uwch ben tair mil o wŷr arfog. Efe hefyd a annogodd y gwŷr o awdurdod yn Syria i ddyfod yn gynnorthwy iddo, megis hefyd o breswylwyr Libanus, Ptolemy a Jamblicus, a Ptolemy arall: trwy ba foddion, dinasoedd y wlad honno a ddaethant yn barodlon i ryfel: yn gymmaint ag y darfu i Mithridates antario yn awr, mewn ymddibyniad ar chwanegol gadernid a gawsai gan Antipater, gyrchu ym mlaen i Pelusium. A phan ballasant ganiattau iddo fynediad trwyddi, efe a warchaeodd ar y ddinas. Yn yr ymosodiad ar ba ryw le, Antipater yn bennaf a arwyddodd ei hun. Canys efe a dorrodd i lawr y rhan hynny o'r mûr, ag oedd gyferbyn ag ef, ac a neidiodd yn gyntaf oll i'r ddinas, gyd â'r dynion oedd o'i amgylch.

Y modd yma y cymmerwyd Pelusium. Ond etto fel yr oeddynt yn myned ym mlaen, yr Aiphtaidd Iuddewon ag oedd yn preswylio'r

wlad, yr hon a elwid gwlad Onias, a'u hattaliasant hwynt. Yna y darfu i Antipater, nid yn unig eu perswadio i beidio a'u hattal hwynt, ond i ganiattau lluniaeth i'w byddin. Ar ba gyfrif y bobl ynghylch Memphis ni ymladdent i'w herbyn, ond o'u bodd eu hunain a ymgyssylltasant â Mithridates. Ar yr hyn yr aeth o amgylch Delta, ac a ymladdodd â'r gweddill o'r Aiphtiaid; mewn lle a elwid Gwersyllfa'r Iuddewon. Ië, pan oedd wedi ei beryglu yn y frwydr, gyd â holl asgell ddehau ei fyddin, Antipater a droes o amgylch, ac a ddaeth ar hyd geulennydd yr afon atto ef: canys efe a gurasai y rhai a'i gwrthwynebodd, fel yr oedd yn arwain yr adain aswy. Yn ol pa lwyddiant efe a syrthiodd ar y rhai oedd yn erlid Mithridates, ac a laddodd nifer mawr o honynt, gan erlid y lleill mor bell ag y cymmerodd eu gwersyll hwynt; pryd na chollodd efe ychwaneg na phedwar ugain o'i wŷr ei hun: ond fe gollodd Mithridates, yn oed yr erlidiad a wnaethpwyd ar ei ol ef, ynghylch wyth gant. Efe hefyd a achubwyd yn annisgwyliadwy: ac a ddaeth yn dyst diwaradwydd i Cæsar o fawr weithredoedd Antipater.

Ar hyn Cæsar a annogodd Antipater i gymmeryd anturiaethau peryglus eraill trosto ef: a hynny trwy roddi canmoliaethau mawr iddo, a gobaith o wobrwyad. Ym mha ryw anturiaethau oll, efe gyd â pharodrwydd a osododd ei hun mewn llawer o beryglon, ac a ddaeth yn rhyfelwr tra chalonnog; ac yr oedd amryw greithiau i'w gweled ar bob rhan o'i gorph, fel arwydd o'i wrolder. Ac wedi i Cæsar sefydlu achosion yr Aipht, a'i fod yn dychwelyd i Syria drachefn, efe a gyfrannodd iddo'r fraint o fod yn ddinesydd Rhufeinig, a rhyddhad oddiwrth drethoedd; ac a'i gwnaeth yn wrthddrych o ryfeddod, trwy anrhydedd a'r nodau o gyfeillgarwch a osododd arno ef. Ar ei gyfrif ef hefyd y cadarnhaodd Hyrcanus yn yr archoffeiriadaeth.

## PENNOD X.

*Antipater yn cael ei appwyntio yn Rhaglaw Judea; Phasael yn llywodraethwr Jerusalem, a Herod yn llywodraethwr Galilea. Herod yn cael ei wysio i ymddangos o flaen y Sanhedrim, ond a bardynir. Sextus Cæsar trwy frad yn cael ei ladd gan Bassus, a'i ddilyn yn y rhaglawiaeth gan Marcus.*

YNGHYLCH yr amser hwn, Antigonus mab Aristobulus a ddaeth at Cæsar; a'i ddyfodiad mewn modd rhyfedd a fu'n achlysur o bellach dyrchafiad Antipater. Canys pan ddylasai alaru am fod yn ymddangos i'w dad gael ei wenwyno, ar gyfrif ei amrafael â Pompey, a chwynfan oblegid barbariaeth Scipio tu ag at ei frawd; a pheidio a chymmysgu tymmer gynfigennus ag erfyniad am drugaredd: heblaw y pethau hyn efe a ddaeth o flaen Cæsar, gan gyhuddo Hyrcanus ac Antipater, o ddarfod iddynt ei yrru ef a'i frodyr yn llwyr allan o wlad eu genedigaeth, a gwneuthur llawer o bethau yn anghyfiawn, ac yn anghymmedrol ymherthynas i'w cenedl; ac am y cynnorthwy a wnaethent iddo yn yr Aipht, nad ydoedd hynny o ewyllys da, ond oblegid yr ofn yr oeddynt ynddo oddiwrth anghydfod blaenorol, ac mewn trefn i gael maddeuant am eu ffyddlondeb i Pompey ei elyn ef.

Ar hyn Antipater a ddiosgodd ei wisg, ac a ddangosodd y lliaws o archollion a gafodd; gan ddywedyd, "Mai am ei ewyllys da i Cæsar, nad oedd ac hos iddo fynegi gair; o herwydd fod creithiau ei gorph yn llefaru yn uchel, er iddo ef fod heb ddywedyd dim. Efe a ryfeddodd, pa fodd bynnag, wrth hyfdra Antigonus, pan nad oedd ei hun yn amgenach na mab gelyn i'r Rhufeiniaid, ynghyd â chrwydryn; ac â chanddo yn etifeddiaeth oddiwrth ei dad hoffder i gyfnewidiadau, ac ymryson; a bod iddo gymmeryd arno gyhuddo dynion eraill o flaen y llywodraethwr Rhufeinaidd, gan ymdrechu cael rhyw fantais iddo ei hun, pan ddylasai fyddloni ar fod iddo gael byw. Oblegid nad oedd y rheswm o'i ddymuniad i lywodraethu achosion cyffredin gymmaint o herwydd ei eisiau o hono; ond os unwaith y meddiannai'r unrhyw, y gallai godi ymryson ym mhlith yr Iuddewon; a gwneud defnydd o'r hyn a ynnillai oddiwrth y Rhufeiniaid, i niweidio y sawl a'i rhoddai iddo."

Wedi i Cæsar wrando hyn, tystiolaethodd mai Hyrcanus ydoedd fwyaf teilwng o'r archoffeiriadaeth: a rhoddodd gennad i Antipater i gymmeryd pa ryw le bynnag o awdurdod a

ddewisai. Ond efe a adawodd y penderfyniad i'r neb a osodai'r awdurdod hono iddo: felly fe'i pennodwyd yn rhaglaw holl Judea; a chafodd gennad i godi y muriau hynny yn ei wlad, a daflesid i lawr. Y caniattâd anrhydeddus yma a orchymynnodd Cæsar ei argraphu yn y Cabidyldy, fel yr arhosai yno yn arwydd o'i gyfiawnder ei hun, ac o rinweddau Antipater.

Ond cyn gynted ag y cyfarwyddwyd Cæsar allan o Syria gan Antipater, efe a ddychwelodd i Judea. A'r peth cyntaf a wnaeth, ydoedd ail-adeiladu mûr Jerusalem a ddadymchwelwyd gan Pompey; ac yna myned o amgylch trwy'r wlad, i lonyddu'r terfysgau ag ydoedd ynddi. Wrth wneuthur hyn efe mewn rhan a fygythiodd, ac a gynghorodd bob un; gan ddywedyd os ymostyngent i Hyrcanus y byddent fyw yn ddedwydd ac yn heddychlon, mewn mwynhad o'r hyn a feddiannent; a hynny gyd â thawelwch a llonyddwch. Ond os gwrandawent ar gyfryw rai ag oedd a rhyw obaith egwan ganddynt, trwy godi terfysgoedd newyddion, i gael rhyw elw iddynt eu hunain, yna y byddai iddynt ei gael ef yn arglwydd yn lle goruchwyliwr trostynt, a phrofi Hyrcanus yn ormeswr, yn lle brenin; teimlent hefyd y Rhufeiniaid, ynghyd â Cæsar, yn elynion, yn lle llywodraethwyr. Oblegid na oddefent hwy iddo ef gael ei symmud o'r llywodraeth, yr hwn a osodasent iddynt yn llywodraethwr. Ac ar yr un pryd ei fod yn mynegi hyn, y sefydlid achosion y deyrnas ganddo ei hun, o herwydd canfod o hono yn Hyrcanus hwyrfrydigrwydd, ac heb gymhwysder ynddo i drefnu achosion y deyrnas. Felly fe osododd ei fab hynaf, Phasaelus, yn llywodraethwr Jerusalem, a'r parthau o amgylch iddi: danfonodd hefyd ei fab nesaf, Herod, yr hwn oedd * dra ieuangc, gyd â chydradd awdurdod i Galilea.

Yn awr Herod ydoedd ddyn bywiog, ac a gafodd ddefnyddiau cymmwys yn fuan i'w feddwl i weithredu arnynt. Megis gan hynny y clywodd fod Hezecias, pennaeth yr yspeilwyr, wedi rhedeg tros barthau cymmydogol Syria gyd â llu mawr o ddynion, efe a'u daliodd, ac a'i lladdodd ef, a llawer eraill o'r yspeilwyr gyd ag ef; pa ryw weithred yn bennaf a fu dda gan y Syriaid, yn gymmaint ag i ganiadau o glod i Herod gael eu canu trwy'r pentrefi, a'r dinasoedd; am beri o hono esmwythder iddynt, a chadwedigaeth eu meddiannau. Ar yr achos hwn y daeth yn adnabyddus i Sextus Cæsar, câr i'r Cæsar mwyaf, a rhaglaw Syria. Awyddfryd i ddilyn siampl ei weithredoedd gorchestol a gynhyrfodd Phasaelus i debygoli iddo. Yn ganlynol fe ynnillodd ewyllys da trigolion Jerusalem, trwy ei drefniad ei hun o achosion y ddinas; ac ni cham-ddefnyddiodd ei awdurdod mewn modd annymunol. Oddiyma y daeth o amgylch, i'r genedl dalu i Antipater y parch haeddiannol i frenin; a'r anrhydedd a roesant i gyd iddo ydoedd gydradd â'r hyn a roddir i benarglwydd. Etto nid ydoedd lai ei ewyllys da a'i ffyddlondeb, yr hyn oedd ddyledus arno i Hyrcanus.

Pa fodd bynnag, fe'i cafodd yn ammhossibl iddo ddiangc rhag cynfigen yn y fath lwyddiant: oblegid clod y gwŷr ieuaingc hyn a effeithiodd, yn ddirgel, ar Hyrcanus ei hun; er na ddywedodd wrth neb ddim yn ei gylch. Ond yr hyn oedd fwyaf yn gofidio o'i herwydd, oedd orchestol weithredoedd Herod; a bod cynnifer o negeseuwyr yn dyfod y naill o flaen y llall, gan hyspysu iddo y mawrglod yr oedd yn ei gael oddiwrth ei holl orchwyliaethau. Yr oedd hefyd lawer o bobl yn y palas brenhinol yn enynnu ei eiddigedd tu ag atto: y rhai yr wyf yn ei feddwl a rwystrwyd yn eu hamcanion, trwy gyfrwystra y gwŷr ieuaingc, neu Antipater. Y gwŷr hyn a ddywedasant, mai trwy orchymmyn yr achosion cyhoeddus i drefniad Antipater a'i feibion, ei fod ef yn gorphwys i lawr gyd ag enw o frenin yn unig, heb feddu dim o'r awdurdod. A hwy a ofynasant, pa hyd y byddai iddo mor bell gamsynied ei hun, a meithrin i fynu frenhinoedd yn wrthwyneb i'w hunan lesbad. Canys nid oeddynt yn awr yn cuddio ei gwaith yn awdurdodi ar achosion cyhoeddus yn hwy; ond yr oeddynt yn eglur ddangos eu hunain yn arglwyddi'r deyrnas; ac wedi ei fwrw ef allan o'i awdurdod: mai hyn oedd yr achos pan laddwyd cynnifer gan Herod, heb ddim gorchymmyn oddi wrtho ef i wneuthur hynny; na thrwy air o enau, neu lythyrau; a'r cwbl yn wrthwyneb i'r Iuddewon. "O achos paham," ebe hwy, "os nad yw efe frenin,

* Ynghylch pump ar hugain mlwydd o oedrau. Gwel y nod ar Hynaf. XIV. 9. a Polyb. XVII. t. d. 752.

ond dyn neillduol, dylai ddyfod i'w farnu, ac atteb i gyfreithiau ei wlad: pa rai nid ydynt yn caniattau lladd neb, nes ei farnu yn euog wrth frawdle."

Hyrcanus yn raddol a enynnwyd â'r ymddiddanion hyn; ac o'r diwedd ni allai oddef yn hwy, ond a ddanfonodd wŷs i Herod i ddyfod i gael ei farnu. Yn ganlynol trwy annogaeth ei dad, a chyn gynted ag y caniattaodd achosion Galilea iddo, efe a ddaeth i fynu i Jerusalem wedi sefydlu gwersylloedd o'r blaen yn Galilea. Pa fodd bynnag, efe a ddaeth gyd â nifer digonol o filwyr: cynnifer yn wir a'r nad ymddangosai fod ganddo fyddin alluog i ddadymchwel awdurdod Hyrcanus: nac etto cyn lleied ag i adael ei ammherchi gan y rhai a gynfigennent wrtho. Pa fodd bynnag, Sextus Cæsar oedd yn ofni am y dyn ieuangc, rhag cael gafael arno gan ei elynion, a'i ddwyn i farwolaeth. Felly fe ddanfonodd rai i orchymmyn yn bendant i Hyrcanus, ar fod iddo ryddhau Herod oddiwrth y trosedd a osodid i'w erbyn; fel ag yr oedd efe yn ei ryddhau yn ganlynol: megis ei fod hefyd yn cael ei ogwyddo i hynny, canys yr oedd yn caru Herod.

Ond Herod, gan feddwl diangc o hono rhag cospedigaeth, heb gydsyniad y brenin, a giliodd ymaith at Sextus, i Damascus; ac a gafodd bob peth yn barod mewn trefn i beidio ufuddhau, os anfonid gwŷs iddo drachefn. Ar hyn y drwg-ewyllyswyr a gynnyrfasant Hyrcanus ym mhellach, gan ddywedyd wrtho, fyned Herod ymaith mewn digter; a'i fod yn parottoi i wneuthur rhyfel ag ef. Ac megis y credodd y brenin yr hyn a ddywedent, ni's gwyddai pa beth i'w wneuthur, gan ei fod yn canfod ei wrthwynebwr yn alluoccach nag ef ei hun. Ac yn awr, wedi i Herod gael ei wneuthur yn flaenor byddinoedd Cœlesyria a Samaria, gan Sextus Cæsar, yr ydoedd yn anwrthwynebol; nid yn unig oddiar yr ewyllys da oedd iddo gan y genedl, ond trwy'r cadernid a feddiannodd ei hun. Yn gymmaint ag y parodd i Hyrcanus syrthio tan y dychryn mwyaf; gan ddisgwyl iddo wneuthur ymgyrch gyd â'i fyddin yn ddioed i'w erbyn.

Ac ni cham-gymmerodd yn y ddychymmyg a wnaeth: canys Herod a gasglodd fyddin yn nghyd, o herwydd y digter yr oedd yn ei ddwyn tu ag atto am ei fwgwth â chyhuddiad mewn llŷs cyhoeddus, ac a'u harweiniodd i Jerusalem mewn trefn i ddiorseddu Hyrcanus. A hyn a wnaethai ar fyrr, oddieithr i'w dad a'i frawd fyned ynghyd i'w gyfarfod ef, a llarieiddio ei ddigter, a hynny trwy ei gynghori i beidio myned â'i ddial ym mlaen ymhellach nag i fygwth a dychrynu; ond i arbed y brenin tan ba un y cawsai ei ddyrchafu i'r fath sefyllfa o awdurdod; ac na ddylai ei gythruddo cymmaint o herwydd ei ddwyn i brofiad, ac i anghofio diolch am ryddhad: na myfyrio cyhyd ar ei gyfyngder a pheri iddo fod yn anniolchgar am waredigaeth. Ac os dylem ystyried Duw fel penderfynwr llwyddiant mewn rhyfel, y mae achos anghyfiawn o fwy anfantais, nag y dichon byddin fod o fantais: a chan hynny na ddylai fod yn gwbl hyderus am lwyddiant, pan fyddai i ymladd yn erbyn ei frenin, a'i gynhalydd, ac un a fuasai'n fynych yn gymmwynaswr iddo; ac na fuasai un amser yn chwerw tu ag atto, ymhellach nag y gwrandawsai ar ddrwg-gynghorwyr: a hynny ddim ymhellach nag i ddwyn cysgod o farnedigaeth arno ef. Felly Herod a ennillwyd trwy'r ymresymiad hwn; ac a farnodd fod yr hyn a wnaethai eisoes yn achlysur digonol i'w obaith yn yr amser a ddenai; a rhoddi o hono ddigon o brawf o'i awdurdod i'r genhedlaeth.

Yn y cyfamser, yr oedd terfysg ym mysg y Rhufeiniaid ynghylch Apamia; a rhyfel cartrefol a barwyd trwy * lofruddiad bradwriaethus Sextus Cæsar gan Secilius Bassus; yr hyn a gyflawnodd oddiar ewyllys da i Pompey. Cymmerodd hefyd y llywodraeth ar ei fyddinoedd. Ond fel y darfu i eraill o flaenoriaid Cæsar ymosod ar Bassus gyd â'u holl fyddin, mewn trefn i'w gospi ef am lofruddiad Cæsar. Antipater hefyd a ddanfonodd gynnorthwyadon iddynt gyd â'i feibion, yn gystal ar gyfrif yr hwn a laddwyd, ac o herwydd Cæsar oedd etto yn fyw: pob un o ba rai ydoedd eu cyfeillion hwynt. Ac fel y profodd y rhyfel hwn yn un o hyd mawr, Marcus a ddanfonwyd allan o Itali i gymmeryd lle Sextus fel rhaglaw.

## PENNOD XI.

*Herod yn cael ei wneuthur yn oruchwyliwr holl Syria. Malichus yn dwyn ymaith fywyd*

* Amryw ysgrifenwyr yr Hanes Rhufeinaidd a roddant gyfrif o'i llofruddiad yma o Sextus Cæsar, ac o ryfel Apamia ar yr achos hwnnw.

*Antipater trwy wenwyn; ar yr hyn y cydsynia'r milwyr i'w ladd ef.*

CYFODODD yr amser hwn ryfel cadarn ym mysg y Rhufeiniaid, ar lofruddiad disymmwth a bradwriaethus Cæsar, gan Cassius a Brutus, yn ol cynnal o hono'r llywodraeth tros dair blynedd, a saith mis. Ar y llofruddiad hwn yr ydoedd cynnwrf mawr; a'r pendefigion oeddynt mewn amrafael â'u gilydd: a phawb a unasant â'r blaid ag oedd â chanddynt obaith mwyaf o dderchafu eu hunain. Yn ganlynol Cassius a ddaeth i Syria, mewn trefn i dderbyn y byddinoedd oedd yn Apamia, lle y gwnaeth gymmod rhwng Bassus a Marcus, a'r llengau ag oedd mewn amrafael ag ef. Felly fe gyfododd gynllwyn Apamia, ac a gymmerodd arno lywodraethiad y fyddin, ac a aeth o amgylch i ofyn teyrnged gan y dinasoedd, a chan ofyn arian ganddynt i'r fath raddau, fel nad oeddynt alluog i'w talu hwynt.

Felly fe orchymmynodd fod i'r Iuddewon ddwyn i mewn saith gant o dalentau. Ac Antipater, oddiar ei ofn o fygythion Cassius, a rannodd godiad y swm hon rhwng ei feibion, ac eraill o'i gydnabod, fel y cwblheid y peth yn ebrwydd: ac yn eu plith hwynt fe ofynnodd gan Malichus, yr hwn oedd mewn gelyniaeth âg ef, i wneud ei ran hefyd: yr hyn a barodd angenrheidrwydd iddo ei wneuthur. Yn awr Herod, yn y lle cyntaf, a lonyddodd dymmer Cassius, trwy ddwyn ei ran iddo o Galilea, yr hyn ydoedd gant o dalentau. Ar ba gyfrif yr ydoedd yn y ffafr fwyaf gyd ag ef. A phan waradwyddodd eraill am eu hannibendod, yr ydoedd yn ddigofus wrth y dinasoedd eu hunain. Felly fe gaethiwodd Gophna ac Emmaus, a dwy eraill o lai cyfrifiad. Ië, fe aeth mor bell ag y mynnai ladd Malichus, am na wnaethai fwy brys ynghynnulliad ei deyrnged. Ond Antipater a ragflaenodd ddinystr y dyn hwn, ynghyd â dinasoedd eraill, ac a gafodd ddyfod i mewn i * ffafr Cassius, trwy ddwyn i mewn, yn uniongyrch, gant o dalentau.

Pa fodd bynnag, wedi i Cassius fyned ymaith, Malichus a anghofiodd y caredigrwydd a wnaethai Antipater iddo; ac a osododd amryw fradwriaethau yn erbyn yr hwn a'i hachubasai ef: fel pe buasai yn gwneuthur brys i'w gael oddiar y ffordd, yr hwn oedd yn attaliwr ei ddrwg ymarferiadau. Ond yr oedd Antipater mor ofnus o rymmusder a dichell y dyn hwn, fel yr aeth tu hwnt i'r Iorddonen, mewn trefn i'w ddiogelu ei hun rhag ei amcanion bradwriaethus. Ond wedi dal Malichus yn ei fradwriaeth, fe fwriodd y bai ar feibion Antipater trwy ei ddigywilydd-dra: canys efe a dwyllodd Phasaelus yn hollol, yr hwn oedd warcheidwad Jerusalem; a Herod, yr hwn a ymddiriedid iddo am yr offerynnau rhyfel; a hyn trwy lawer o esgusodion a llwon: gan eu perswadio i gymmodi ei dad ag ef. Y modd hwn yr achubwyd ef drachefn gan Antipater, yr hwn a drodd ymaith Marcus, y pryd hynny yn rhaglaw Syria, oddiwrth ei fwriad o ladd Malichus, am gynnyg dadwneud y llywodraeth.

Yn y rhyfel rhwng Cassius a Brutus ar un blaid, yn erbyn Cæsar † ieuangaf, ac Antony o'r blaid arall, Cassius a Marcus a gawsant fyddin ynghyd allan o Syria. Ac fel yr oedd Herod yn debyg o gael rhan fawr yn y gwaith o barottoi angenrheidiau, gwnaethant ef y pryd hwnnw yn oruchwyliwr holl Syria, gan orchymmyn iddo fyddin o wŷr traed, a meirch. Cassius a addawodd hefyd, yn ol myned y rhyfel trosodd, ei wneuthur ef yn frenin Judea. Ond fe ddigwyddodd felly, fel y darfu i awdurdod a gobaith ei fab ddyfod yn achos o ddinystr Antipater. Canys fel yr oedd Malichus yn ofnus o hyn, llygrodd un o ben-trulliaid y brenin ag arian am roddi diod wenwynig i Antipater. Felly fe ddaeth yn aberth i ddrwg-ddyfais Malichus, ac a fu farw mewn gwledd. Yr ydoedd, mewn modd arall, yn wr astud yn nhrefniad achosion, ac yn un a adferodd y llywodraeth i Hyrcanus, ac a'i cadwodd yn ei ddwylaw.

Pa fodd bynnag, Malichus, pan ddrwg-dybiwyd ef am wenwyniad Antipater, ac â'r lliaws yn ddigllon tu ag atto o'i herwydd; yntau a wadodd hynny, ac a wnaeth i'r bobl gredu nad oedd yn euog. Efe hefyd a barottodd i wneud ymddangosiad mawrwych, a chyfodi milwyr.

* Fe ymddengys yn amlwg oddiwrth hanesiad Josephus yma, ac yn yr hynafiaethau, XIV, 11, fod y Cassius hwn, ag oedd yn un o lofruddwyr Caesar, yn orthrymmwr chwerw, ac yn godwr teyrnged yn Judea. Y 700 o dalentau, oedd yn cyrhaeddyd i gylch 300,000 l. ac ydoedd yn hanner teyrnged flynyddol y brenin Herod yn ol hynny. Ymddengys nad oedd Galilea y pryd hyn yn talu mwy na 100 o dalentau, yr hyn oedd y seithfed ran o'r holl dreth a osodwyd ar y wlad.

† Augustus.

Canys meddyliodd na fyddai Herod ddim yn llonydd. Yr hwn yn wir a ddaeth ar ei warthaf ef yn ddisymmwth, mewn trefn i ddial marwolaeth ei dad. Ond wrth wrando ar gyngor ei frawd Phasaelus i beidio a'i gospi mewn modd cyhoeddus, rhag i'r lliaws gwympo i ymryson, gwnaeth dderbyniad o amddiffyn Malichus; gan addef ei fod yn ei ryddhau oddiwrth y drwg-dybiad hynny am dano. Gwnaeth hefyd angladd anrhydeddus i'w dad.

Felly Herod a aeth i Samaria, yr hon oedd y pryd hynny mewn terfysg, ac a sefydlodd heddwch yn y ddinas. Yn ol hynny, ar yr ŵyl,* fe ddychwelodd i Jerusalem, a chanddo ei wŷr arfog gyd ag ef. Ar hyn Hyrcanus, ar ddeisyfiad Malichus, yr hwn oedd yn ofni ei ddyfodfa, a waharddodd iddynt adael i ddieithriaid ddyfod i mewn i ymgymmysgu eu hunain â phobl y wlad tra b'ont yn † puro eu hunain. Ond Herod a ddirmygodd yr esgus, a'r un a roddes y gorchymmyn, ac a ddaeth i mewn wrth liw nôs. Ar yr hyn Malichus a ddaeth atto, gan alaru oblegid Antipater. Herod hefyd a barodd iddo gredu ei fod yn cymmeradwyo ei alar; er bod ganddo lawer o ymdrechu i ffrwyno ei dymmer. Pa fodd bynnag, efe ei hun a ofidiodd am lofruddiad ei dad, yn ei lythyr at Cassius; yr hwn, ar gyfrifon eraill, oedd yn casbau Malichus. Cassius a ddanfonodd air yn ol, a'r fod iddo ddial marwolaeth ei dad arno ef: ac a roddodd orchymmyn yn ddirgel i'r tribaniaid oedd tano, i gynnorthwyo Herod mewn gweithred gyfiawn ag ydoedd yn ei chylch.

Ac o herwydd wrth gymmeryd Laodicea gan Cassius, fod y gwŷr nerthol wedi dyfod ynghyd o bob parth, gyd ag anrhegion, a choronau yn eu dwylaw, Herod a bennododd yr amser hwnnw yn gyfleus i gospi Malichus. Pan ddrwg-dybiodd Malichus hynny, ac efe yn Tyre, arfaethodd dynnu ymaith ei fab yn ddirgel oddiwrth y Tyriaid, ag oedd yn wystl yno, tra'r ydoedd yn parottoi i ffoi ymaith i Judea. Yn awr yr anobaith ag oedd ynddo o ddiangc, a'i cynhyrfodd i feddwl am bethau mwy. Canys efe a obeithiodd gyfodi'r genedl i wrthryfela yn erbyn y Rhufeiniaid, tra 'r oedd Cassius yn brysur mewn rhyfel yn erbyn Antony; ac y gallai yn hawdd ddifeddiannu Hyrcanus, a chael y goron iddo ei hun.

Ond tyngbedfen a chwarddodd wrth y gobaith hwn oedd ganddo: canys Herod a ragwelodd yr hyn ag oedd mor awyddus yn ei gylch; ac a ddanfonodd wahoddiad iddo ef a Hyrcanus i ddyfod i swppera atto ef. Ond gan alw ar un o'r pen-gweision oedd yn sefyll yn ymyl, atto, fe'i danfonodd allan, megis pe byddai i geisio pethau yn barod i swpper: ond mewn gwirionedd i roddi arwydd ym mlaen llaw ynghylch y bradwriaeth ag oedd yn cael ei wneuthur i'w erbyn. Yn ganlynol, galwasant i gof pa orchymmyn a roddasai Cassius iddynt, ac a aethant allan o'r ddinas gyd â'u cleddyfau yn eu dwylaw, i lân y môr: ym mha le yr amgylchynasant Malichus a'r bob tu, ac a'i lladdasant â llawer o archollion. Ar yr hyn y dychrynwyd Hyrcanus yn ddisymmwth, nes iddo fyned i lesmair, a syrthio i lawr gan y braw yr oedd ynddo. A chyd ag anhawsdra'r adferwyd ef; pan y gofynodd, pwy ydoedd yr hwn a laddasai Malichus? A phan attebodd un o'r tribuniaid, ddarfod ei wneuthur wrth orchymmyn Cassius: "Yna," eb efe, "Cassius a'm hachubodd i a'm gwlad, trwy dorri ymaith un ag ydoedd yn gosod bradwriaethau yn ein herbyn bob un." Pa un ai a ydoedd yn llefaru ei fyddyliau; neu a oedd ei ofn y fath ag a'i rhwymodd i gymmeradwyo'r weithred, trwy ddywedyd felly, sydd ansicr. Pa fodd bynnag, Herod trwy'r modd hwn a osododd gospedigaeth ar Malichus.

## PENNOD XII.

*Terfysg yn cyfodi yn Jerusalem trwy Felix; Herod yn gorchfygu Antigonus mewn brwydr; a'r Iuddewon yn cyhuddo Herod a Phasaelus; ond Antony yn eu rhyddhau hwynt, yn eu gwneuthur yn Detrarchiaid.*

WEDI i Cassius fyned allan o Syria, ymryson arall a gyfododd yn Jerusalem, ym mha ryw un Felix a ymosododd ar Phasaelus gyd â byddin, fel y dialai farwolaeth Malichus ar Herod, trwy syrthio ar ei frawd ef.‡ Yn awr, Herod a ddigwyddodd fod y pryd hynny gyd â Fabius, llywodraethwr Damascus. Ac fel yr oedd yn myned i gynnorthwyo ei frawd, fe'i

*Pentecost. † Gwel Ioan xi. 55.

‡ Gwel Hynaf. XIV. 11.

rhwystrwyd gan afiechyd. Yn y cyfamser Phasaelus wrtho ei hun a fu ry galed i Felix; ac a waradwyddodd Hyrcanus oblegid ei anniolchgarwch, ar gyfrif y cynnorthwy a roesai i Malichus, ac am edrych heibio i frawd Malichus, pan y cymmerodd iddo ei hun feddiant o'r amddiffynfeydd. Canys yr oedd amryw o honynt ganddo eisoes: ac yn eu plith yr un gadarnaf o'r cwbl, Masada.

Pa fodd bynnag, ni allai dim fod yn ddigon iddo ef yn erbyn lluoedd Herod: yr hwn, mor gynted ag yr ymiachaodd, a gymmerodd yr ymddiffynfeydd eraill drachefn, ac a'i gyrrodd ef allan o Masada, ar agwedd ymbiliwr. Efe hefyd a yrrodd ymaith Marion, gorthrymwr y Tyriaid, allan o Galilea, wedi iddo yn barod ei feddiannu ei hun o dri lle amddiffynnol. Ond am y Tyriaid hynny a ddaliasai, efe a'u cadwodd oll yn fyw; ïe, rhai o honynt a gafodd roddion ganddo, ac felly fe'u danfonodd ymaith; trwy'r modd hwnnw fe ynnillodd ewyllys da iddo ei hun oddiwrth y ddinas, a chasineb i'r gorthrymwr. Marion yn wir a feddiannodd yr awdurdod orthrymmus honno gan Cassius; yr hwn a* osodasai orthrymwyr ar holl Syria. Ac oddiar ei gasineb i Herod yr ydoedd ddarfod iddo gynnorthwyo Antigonus, mab Aristobulus; ac yn bennaf ar gyfrif Fabius, yr hwn a wnaethai Antigonus yn gynnorthwywr iddo trwy arian: ac yn ganlynol ydoedd ag ef ganddo o'i ochr pan wnaeth ddisgynfa yn y wlad. Ond Ptolemy, câr Antigonus, ydoedd yr hwn a'i diwallodd â'r hyn oll oedd yn eisiau arno.

Wedi i Herod ymladd â'r rhai yn nherfynau Judea, fe fuddugoliaethodd yn y frwydr, ac a ymlidiodd ymaith Antigonus, ac a ddychwelodd i Jerusalem, gan gael ei ganmol gan bawb am y weithred glodfawr a gwblhasai. Canys y rhai nad oeddynt o'r blaen yn ei berchi, yn awr a ymgyssylltasant ag ef, o herwydd ei briodas ag un o deulu Hyrcanus. Canys megis ag yr oedd o'r blaen wedi priodi gwraig o'i wlad ei hun, o deulu ammharchus, a elwid Doris, o'r hon y cafodd Antipater; felly yn awr y priododd Mariamne, † merch Alexander, mab Aristobulus, ac ŵyres Hyrcanus; a thrwy hynny a ddaethai mewn perthynas â'r brenhinoedd.

Ond wedi i Cæsar ac Antony ladd Cassius yn agos i Philippi, a Cæsar wedi myned i Itali, ac Antony i Asia, ym mysg eraill o'r dinasoedd a ddanfonasant gennadwyr at Antony i Bithynia; gwŷr mawr yr Iuddewon a ddaethant hefyd, gan gyhuddo Phasaelus a Herod, eu bod yn cadw meddiant o'r llywodraeth trwy drais; ac nad oedd gan Hyrcanus ychwaneg nag enw anrhydeddus. Herod a ymddangosodd yn barod i atteb y cyhuddiad hwn. Ac wedi gwneud ei hun yn gyfeillgar ag Antony, trwy'r mesur mawr o arian a roddodd iddo, efe a'i hynnillodd i'r fath dymmer, ag i beidio rho'i gwrandawiad i'r lleill a ddaethent i ddywedyd yn ei erbyn. Ac fel hyn yr ymadawsant y pryd hwnnw.‡

Pa fodd bynnag, ar ol hyn daeth cant o wŷr pennaf yr Iuddewon i Daphne, gerllaw i Antioch at Antony; yr hwn oedd eisoes wedi syrthio mewn serch â Cleopatra i radd o gwaethiwed. Yr Iuddewon hyn a osodasant y rhai mwyaf galluog ac ymadroddus o honynt ym mlaenaf, ac a gyhuddasant y § brodyr. Ond Messala a'u gwrthwynebodd, ac a'u hamddiffynodd hwynt; a hynny tra'r oedd Hyrcanus yn sefyll yn ei ymyl, o herwydd ei berthanas â hwynt. Wedi i Antony wrando pob ochr, gofynnodd i Hyrcanus, pa blaid oedd gymhwysaf i lywodraethu? Attebodd, mai Herod a'i blaid ef oedd gymhwysaf. Antony a fu dda ganddo'r attebiad hwnnw: canys fe ymddygasid gynt tu ag atto mewn modd haelionus a charedig gan ei dad Antipater, pan oedd yn cyrchu i Judea gyd â Gabinius: felly fe osododd y brodyr yn detrarchiaid; ac a drefnodd iddynt hwy lywodraeth Judea.

Ond pan oedd y cennadwyr yn ddigofus o blegid y weithred hon, Antony a gymmerodd bymtheg o honynt, ac a'u rhoddodd mewn dalfa; y rhai hefyd oedd yn myned i'w lladd yn ebrwydd; a'r lleill a yrrodd ymaith yn ammharchus. Ar yr achos hwn cyfododd terfysg mwy yn Jerusalem: felly hwy a ddanfonasant drachefn fil o gennadwyr i Tyre, lle'r oedd Antony yn awr yn aros, yn ei gyrchfa tu a Jerusalem.

* Yma y gwelwn ddarfod i Cassius osod gorthrymwyr ar holl Syria. Felly nid oedd ei gydfwriad i ladd Cæsar yn ymddangos megis yn tarddu oddiwrth sêl tros ryddid cyffredin; ond oddiar ddymuniad i fod yn orthrymwr ei hun

† Hyn sydd yn ei le; canys Alexandra ydoedd ferch Hyrcanus, gwraig Aristobulus, a mam Mariamne.

‡Gwel Hynaf. XIV. 12.

§ Phasaelus a Herod.

Ar y gwŷr hyn, y rhai a wnaent achwynion, danfonodd allan lywydd Tyre, gan orchymmyn iddo gospi cynnifer ag a ddaliai o honynt: a sefydlu y rhai hynny yngweinyddiad y llywodraeth a wnaethai efe yn detrarchiaid.

Ond o flaen hyn Herod a Hyrcanus a aethant allan i lân y môr; ac a erfyniasant yn daer ar y cennadwyr hynny, na fyddai iddynt ddwyn dinystr arnynt eu hunain, na rhyfel ar eu genedigol wlad, trwy eu hanghymmedrol ymryson. Ac fel yr oeddynt yn cynnyddu fyth yn fwy ffyrnig, Antony a ddanfonodd allan wŷr arfog, ac a laddodd lawer o honynt, gan glwyfo ychwaneg. Y rhai a laddwyd, darfu iddynt gael eu claddu gan Hyrcanus; a gosodwyd y rhai archolledig tan ddwylaw meddygon ganddo ef. Etto ni fedrai y rhai a ddiangasant fod yn llonydd, ond hwy a ddodasant achosion y ddinas mewn annhrefn: a darfu iddynt gythruddo Antony mor bell fel y lladdodd y rhai a a roddasai gynt mewn rhwymau.

## PENNOD XIII.

*Y Parthiaid yn dwyn Antigonus yn ol i Judea, ac yn bwrw Hyrcanus a Phasaelus i garchar. Diangfa Herod, a chymmeryd Jerusalem; a dioddefiadau Hyrcanus a Phasaelus.*

YN awr, ym mhen y ddwy flynedd ar ol hynny, pan oedd Barzapharnes, llywodraethwr ym mysg y Parthiaid, a Pacorus mab y brenin, wedi cymmeryd meddiant o Syria; a phan oedd Lysanias eisoes wedi dyfod, ar farwolaeth ei dad Ptolemy, fab Menneus, yn llywodraethwr Chalcis; efe a ddenodd y llywodraethwr, trwy addewid o fil o dalentau, a phum cant o ferched, i ddwyn Antigonus yn ol i'w deyrnas. Pacorus, trwy'r moddion, hyn a ynnillwyd i wneuthur felly; ac a wnaeth gyrchfa ar hyd glàn y môr, pan yr archodd i Barzapharnes syrthio ar yr Iuddewon fel yr elai ym mlaen o du môr y canoldir i'r wlad. Ond am y bobl arforawl, ni wnai'r Tyriaid dderbyniad o Pacorus, er i'r rhai o Ptolemais a Sidon ei dderbyn ef. Felly fe roddodd lu o'i wŷr meirch at ben-trulliad perthynol i'r brenhinol deulu, o'r un enw ag ef ei hun Pacorus, gan orchymmyn iddo fyned rhagddo i Judea, mewn trefn i wybod amgylchiad eu gelynion, ac i gynnorthwyo Antigonus, pan fyddai arno ddiffyg ei gynnorthwy.

Yn awr, fel yr oedd y dynion hyn yn difrodi Carmel, llawer o'r Iuddewon a gyd-redasant at Antigonus; ac a ddangosasant eu hunain yn barod i wneud rhuthr i mewn i'r wlad. Felly fe'u danfonodd hwynt o'r blaen i'r lle hwnnw a elwid* Drymus, neu goed-tir, i oresgyn y lle. Yma'r ymladdwyd brwydr rhyngddynt, a hwy a yrrasant y gelynion ymaith, cyn belled a Jerusalem. Ac fel yr oedd eu nifer yn amlhau, aethant ym mlaen hyd at balas y brenin.

Ond fel ag y darfu i Hyrcanus a Phasaelus eu derbyn â chorph cadarn o wŷr, digwyddodd brwydr rhyngddynt yn y farchnadfa; ym mha un y curodd plaid Herod y gelynion, ac a'u caeasant i fynu yn y deml, ac a osodasant drugain o ddynion yn y tai cyssylltedig fel gwarchawdlu arnynt. Ond y bobl derfysglyd yn erbyn y brodyr, a ddaethant i mewn, ac a losgasant y dynion. Pan ddarfu i Herod yn ei gynddaredd, am ladd o honynt y dynion, ymosod ar, a difetha llawer o'r bobl: nes i'r naill blaid ruthro ar y lleill yn eu tro, yn feunyddiol, mewn ffordd o gynllwyn; a lladdfeydd a wnaed yn wastadol yn eu mysg.

Yn awr fel yr oedd yr ŵyl honno a alwn ni y Pentecost wrth law, yr holl leoedd o amgylch y deml, a'r ddinas i gyd ydoedd lawn o'r lliaws pobl a ddaethent o'r wlad; a'r rhai, yn fwyaf cyffredin, oeddynt wedi ymarfogi. Ar yr amser hwn Phasaelus oedd yn gwylio'r mûr; a Herod gyd ag ychydig nifer oedd yn gwylio y palas brenhinol: a phan wnaeth ymosodiad ar y gelynion fel yr oeddynt mewn annhrefn, ar y tu gogleddol i'r ddinas, efe a laddodd nifer fawr o honynt, ac a'u dododd oll ar ffô: a rhai o honynt a gauodd i fynu yn y ddinas, ac eraill o fewn i'r rhagfyr nesaf allan. Yn y cyfamser Atigonus a ddeisyfodd a'r fod i Pacorus gael derbyniad i fod yn gymmodwr rhyngddynt. A Phasaelus a berswadiwyd i dderbyn y Parthiad i'r ddinas, gyd â phum cant o wŷr meirch, ac i'w roesawi ef mewn modd haelionus; yr hwn a gymmerodd arno ei fod yn dyfod i ostegu'r cythrwfl; ond mewn gwirionedd ei ddyfodiad oedd i gynnorth-

* Y goedwig eang a hynod yma, perthynol i Carmel, a grybwyllir yn yr Hen Destament, 2 Bren. xix. 23. ac Esay xxxviii. 24. a chan Strabo, XVI. t. d. 758, fel y mae Aldrich a Spanheim yn sylwi.

wyo Antigonus. Pa fodd bynnag, efe a osododd fradwriaeth i Phasaelus; ac a'i perswadiodd i fyned fel cenhadwr at Barsapharnes, i'r diben i roi terfyn ar y rhyfel. Er bod Herod yn dadleu yn daer i'r gwrthwyneb, ac yn ei annog i ladd y twyllwr,a pheidio a dodi ei hun yn agored i'r maglau yr oedd yn ei osod iddo: am fod y barbariaid o naturiaeth yn fradychwyr. Pa fodd bynnag, Pacorus a aeth allan, gan gymmeryd Hyrcanus gyd ag ef, fel y byddai iddo yn llai gael ei ddrwg-dybio. Efe hefyd a adawodd rai o'r gwŷr meirch, a elwid yn wŷr rhyddion, gyd â Herod; a'r lleill a drefnwyd yn arweinwyr i Phasaelus.*

Ond wedi eu dyfod i Galilea, hwy a gawsant bobl y wlad wedi gŵyrdroi, a than eu harfau: y rhai yn dra chyfrwys a ddaeth at eu blaenor, gan ddeisyf arno guddio ei amcanion bradwriaethus trwy ymddygiad caredigol tu ag attynt. Yn ganlynol efe ar y cyntaf a wnaeth anrhegion iddynt; ac ar ol hynny, fel yr oeddynt yn myned ymaith, a osododd gynllwynion o'u hamgylch. Ac wedi eu dyfod i un o'r dinasoedd morawl, a elwid Ecdippon, hwy a ganfuant fod bradwriaeth wedi ei osod iddynt. Canys yno'r hyspyswyd o'u blaen am yr addewid o fil o dalentau. A'r modd yr oedd Antigonus wedi aberthu y rhan fwyaf o'r merched ag oedd gyd â hwynt, ym mhlith y pum cant, i'r Parthiaid. Deallasant hefyd fod cynllwyn yn cael ei osod iddynt yn wastad yn y nos gan y barbariaid. Goresgynasid hwy hefyd cyn hyn, oddigerth eu bod wedi disgwyl cymmeryd Herod yn gyntaf yn Jerusalem. Oblegid pe gwybuasai efe unwaith am y fradwriaeth hon, y cymmerasai ofal am dano ei hun. Ac nid chwedl yn unig ydoedd hyn: ond hwy a welsant nad oedd y gwarchawdlu eisoes ym mhell o ffordd.

Ac ni fynnai Phasaelus feddwl gadael Hyrcanus, a ffoi ymaith; er darfod i Ophelius yn daer ei berswadio i hynny. Canys y gwr hwn a ddysgasai wybod am holl drefn y fradwriaeth oddiwrth Saramalla, y cyfoethoccaf o'r holl Syriaid: ond Phasaelus a aeth i fynu at lywodraethwr y Parthiaid, ac a'i gwaradwyddodd yn ei wyneb, am osod y ddichell fradwriaethus hon yn eu herbyn: ac yn enwedig am iddo ei wneuthur er arian. Ac efe a addawodd y rhoddai iddo fwy o arian am eu diogelu hwynt, nag a addawsai Antigonus iddynt am y deyrnas. Ond y Parthiad cyfrwys-ddrwg a ymdrechodd i symmud ei ddrwg-dybiau, trwy amddiffyn ei hun â llwon, ac yna a aeth at y Pacorus arall. Ac yn uniongyrch ar ol hyn, y Parthiaid a adawid, ac oedd â hynny yn eu gofal, a ymafaelasant yn Phasaelus a Hyrcanus; y rhai ni allent ychwaneg na melldigo eu bradwriaeth a'u twyll-ddichell.

Yn y cyfamser, y pen-trulliad a ddanfonwyd yn ei ol, gan frad-ddarlunio yn ei feddwl pa fodd i gymmeryd Herod, trwy ei dwyllo, a'i dynnu allan o'r ddinas, fel y perid iddo wneuthur. Ond yr oedd Herod yn drwg-dybio y Parthiaid o'r dechrau: ac wedi cael gwybodaeth am negeseuwr,a ddygai'r llythyrau yn hyspysu iddo am y fradwriaeth a osodasid, syrthio o hono i ddwylaw gelynion, nid â'i efe allan o'r ddinas: er dywedyd o Pacorus yn bendant y dylai fyned allan i gyfarfod y negeseuwr oedd yn dwyn y llythyrau; am na chymmerasai y gelynion hwynt: ac nad oedd eu cynhwysiad yn rhoi cyfrif am ddim bradwriaethau arnynt; ond ynghylch yr hyn a wnaethai Phasaelus. Etto efe a glywsai gan eraill fod ei frawd wedi ei gymmeryd. Ac † Alexandra, y wraig gyflymma ei hamgyffrediadau o neb, merch Hyrcanus, a ddeisyfodd nad â'i efe allan, nac ymddiried ei hun i'r barbariaid hynny; y rhai yn awr a ddaethant i gynnyg arno yn gyhoeddus.

Yn awr fel yr oedd Pacorus a'i gyfeillion yn ystyried pa fodd y dygent o amgylch eu brad yn ddirgelaidd, o herwydd nad oedd bossibl gwmpasu dyn o'r fath gallineb trwy ymosod arno yn gyhoeddus, Herod a'u rhagflaenodd hwynt, ac a ymadawodd ymaith, a'i berthynasau agosaf gyd ag ef, yn y nos; a hyn heb i'w elynion wybod am dano. Ond mor gynted ag y gwybuwyd hyn gan y Parthiaid, hwy a'u herlidiasant. Ac wedi rhoddi gorchymmyn i'w fam, a'i chwaer, a'r ferch ieuangc a ddyweddiasid ag ef, gyd â'i mam, a'i frawd ieuangaf, i wneud y goreu o'u ffordd; efe ei hun, gyd â'i wasanaeth-ddynion, a gymmerasant yr holl ofal a fedrent i gadw ymaith y barbariaid. A phan,

* Yr hanesion uchod, yn y lle hwn, a'r Hynaf. XIV. 15. yn crybwyll fod y Parthiaid yn ymladd yn bennaf ar feirch, ac mai ychydig o'u milwyr oedd yn wŷr rhyddion, sydd yn cwbl gyttuno gyda Trogus Pompeius, yn Justin XLI. 23, fel yr iawn sylwia y Deon Aldrich ar y lle hwn.

† Mariamne yma yn y copiau.

ar bob ymosodiad, y lladdodd lawer o honynt, efe a ddaeth i'r lle cadarn a elwid Massada.

Ië, fe gafodd, trwy brofiad, i'r Iuddewon syrthio yn drymmach arno na'r Parthiaid, ac a barasant boenydiau iddo yn wastadol; a hynny wedi dyfod drugain o 'stadau o'r ddinas. Y rhai hyn weithiau a'u dygent i fath o frwydr reolaidd. Yn awr, yn y lle ag y lladdodd Herod nifer fawr o honynt, efe yn ol hynny a adeiladodd dŵr, mewn cof o'r pethau mawrion a wnaethai yno; ac a'i haddurnodd â'r palasau mwyaf costfawr, ac amddiffynfeydd cadarn; ac a'i galwodd yn ol ei enw ei hun Herodium. Yn awr, fel yr oeddynt ar eu ffoedigaeth, llawer a ymgyssylltasant eu hunain ag ef yn feunyddiol. Ac mewn lle a elwid Thressa, yn Idumea, ei frawd Joseph a gyfarfu ag ef: ac a gynghorodd ar fod iddo esmwythau ei hun o nifer fawr o'i ganlynwyr: o herwydd na chynnwysai Massada y fath liaws, y rhai ydoedd uwchlaw naw mil. Herod a gydsyniodd â'r cyngor hwn, ac a ddanfonodd ymaith y rhai oedd fwyaf o faich i'w osgordd, fel yr elent i Idumea, ac a roddodd luniaeth i'w cynnal yn eu taith. Ond efe a ddaeth yn ddiogel i'r amddiffynfa, gyd â'i berthynasau agosaf; ac a gadwodd gyd ag ef yn unig y rhai mwyaf grymmus o'i ganlynwyr: ac yno y gadawodd wyth gant o wŷr fel gwylwyr i'r gwragedd; ac ymborth digonol i'r gwarchae; tra prysurodd efe ymaith i Petra, yn Arabia.

Am y Parthiaid ag ydoedd yn Jerusalem, hwy a ymroisant eu hunain i anrheithio, a syrthiasant ar drigfanau y rhai a ddiangasent, ac ar dŷ'r brenin; ac ni arbedasant ddim ond arian Hyrcanus, y rhai nid oeddynt uwchlaw tri chant o dalentau. Cymmerasant feddiant o arian gwŷr eraill, ond ni chawsant gymmaint ac a obeithiasant. Canys wedi i Herod er's hir amser ddrwg-dybio twyll y barbariaid, efe a gymmerodd ofal i ddanfon y trysorau mwyaf eu gwerth oedd ganddo i Idumea, megis y gwnaeth pob un a berthynent iddo ef. Ond y Parthiaid a aethant ym mlaen i'r fath radd o anghyfiawnder, ag i lenwi'r holl wlad â rhyfel heb ei gyhoeddi: a gwnaethant ddifrod o'r ddinas Marissa: ac nid yn unig hwy a osodasant Antigonus yn frenin, ond a draddodasant Phasaelus a Hyrcanus yn rhwym i'w ddwylaw ef, i'r diben i gael eu harteithio ganddo. Antigonus hefyd a gnodd ymaith glustiau Hyrcanus â'i ddannedd ei hun, fel yr oedd wedi syrthio i lawr ar ei liniau iddo ef: fel na fyddai trwy hynny fyth yn alluog, ar unrhyw gyfnewidiad o achosion, i gymmeryd arno'r archoffeiriadaeth drachefn. Canys yr archoffeiriaid wrth weini eu swydd, oedd raid iddynt fod yn gwbl ddi-anaf.

Pa fodd bynnag, efe a fethodd yn ei amcan o ammherchi Phasaelus, o herwydd ei rymmusder; ac er na allai wneud defnydd o'r cleddyf na'i ddwylaw; efe a ragflaenodd bob ammharch trwy guro ei ben yn erbyn meini nes ei ddifetha ei hun. Felly fe ddangosodd ei hun yn frawd Herod, a Hyrcanus yn garennydd dirywedig; ac a fu farw gyd ag yspryd gwrol; ac a barodd i'w ddiwedd gyttuno â gweithredoedd ei fywyd. Mae hefyd hanes arall ynghylch ei ddiwedd: sef, ddarfod iddo adfywio yn ol yr ergyd hwnnw; a darfod i feddyg, yr hwn a ddanfonasai Antigonus i'w wellhau, lenwi'r briw â chyffuriau gwenwynig, ac felly ei ladd ef. Y mae'r hanes hefyd yn crybwyll, ddarfod hyspysu iddo cyn ei farw, gan ryw wraig dlawd, y modd y diangasai Herod o'u dwylaw: ac iddo ef ar hynny ddywedyd, "Yr wyf yn awr yn marw gyd â chysur, gan fy mod yn gadael un o'm hol yn fyw, a'm diala i ar fy ngelynion."

Dyma oedd farwolaeth Phasaelus. Ond y Parthiaid, er methu o honynt ymherthynas i'r menywod yr oeddynt yn bennaf yn eu chwennychu; etto hwy a ddodasant lywodraeth Jerusalem yn nwylaw Antigonus; a chymmerasant ymaith Hyrcanus, gan ei rwymo, a'i ddwyn ef i Parthia.

## PENNOD XIV.

*Herod wedi ei wrthod yn Arabia, yn prysuro i Rufain; lle y mae Antony a Cæsar yn uno eu hawdurdod i'w wneuthur yn frenin yr Iuddewon.*

YN awr Herod gydâ mwy o brysurdeb a aeth ym mlaen yn ei daith tu ag Arabia, megis yn gwneuthur brys i fenthycca arian gan y brenin, tra'r oedd ei frawd etto yn fyw: wrth ba arian yn unig yr oedd yn gobeithio gorchfygu tymmer gybyddlyd y barbariaid i arbed Phasaelus. Canys ymresymmodd fel hyn ag ef ei hun; os byddai'r brenin Arabaidd yn rhy ang-

hofus o gyfeillgarwch ei dad tu ag atto ef, ac yn rhy gybyddlyd i wneuthur rhad rodd iddo, y byddai iddo, pa fodd bynnag, fenthycca cymmaint ganddo ag a brynai ei frawd; ac y dodai yn ei ddwylaw, megis yn wystl, fab yr hwn a brynid. Yn ganlynol fe gymmerodd fab ei frawd gyd ag ef, yr hwn oedd saith mlwydd o oedran. Yn awr, yr ydoedd yn barod i roddi tri chant o dalentau am ei frawd, ac yn amcanu gwneud defnydd o eiriolaeth y Tyriaid a'r fod iddynt gael derbyniad. Pa fodd bynnag, yr oedd tynghedfen yn rhy gyflym i'w ddiwydrwydd ef: a chan fod Phasaelus wedi marw, cariad brawdol Herod ydoedd yn awr yn ofer. Ymhellach ni allodd gael dim caredigrwydd parhaus ym mysg yr Arabiaid. Canys eu brenin Malichus a ddanfonodd atto yn uniongyrch, ac a orchymmynodd iddo ddychwelyd yn ol allan o'i wlâd ef; ac a wnaeth ddefnydd o enw'r Parthiaid fel esgus o hynny; fel pe buasent hwy trwy eu cenhadon wedi datgan eu hewyllys i fwrw Herod allan o Arabia: pan, mewn gwirionedd, yr oedd ganddynt ddymuniad i gadw yn ol yr hyn oedd arnynt i Antipater; fel na byddent yn rhwym i wneud taliad i'w feibion, am y rhad roddion a wnaethai eu tad iddynt. Efe hefyd a gymmerodd gyngor digywilydd, y rhai yn gyffelyb iddo ei hun oedd yn ewyllysio difeddiannu Herod o'r hyn ag oedd Antipater wedi ei osod i fynu yn eu mysg. A'r gwŷr hynny ydoedd ym mhlith y rhai galluoccaf yn ei deyrnas.

Felly pan welodd Herod fod yr Arabiaid yn elynion iddo, a hyn am yr un rhesymmau ag oedd ganddo i'w disgwyl yn gyfeillgar; ac wedi rhoddi iddynt y fath attebiad ag oedd ei deimladau yn ei dueddu i wneuthur; efe a ddychwelodd yn ol, ac a aeth rhyngddo â'r Aipht. Efe a lettyodd y noswaith gyntaf yn un o demlau y wlad honno, mewn trefn i gyfarfod â'r rhai a adawsai ar ol. Ond ar y dydd nesaf, gair a ddygwyd iddo, fel yr oedd yn myned i Rhinocutura, fod ei frawd wedi marw, a pha fath farwolaeth a gawsai. Ac wedi gwneuthur cymmaint o alar o'i herwydd ag oedd ei amgylchiadau presennol yn caniattau, gadawodd o'r neilldu y fath ofalon, ac a aeth ym mlaen i'w daith. Ond ar ol ennyd o amser brenin Arabia a edifarhaodd am yr hyn a wnaethai, ac a ddanfonodd negeseuwyr i'w alw yn ol. Herod, pa fodd bynnag, a'i rhagflaenodd hwynt, ag ydoedd wedi dyfod i Pelusium. Ac fel na allai gael mynedfa gyd â'r rhai oedd yn gorwedd gyd â'r llynges, fe ddeisyfodd ar eu capteiniaid gael myned gyd â hwynt. Yn ganlynol oddiar y parch yr oeddynt yn ei ddwyn tu ag at enwogrwydd y dyn, hwy a'i dygasant ef i Alexandria. A phan ddaeth i'r ddinas, efe a dderbyniwyd gyd â gorfoledd mawr gan Cleopatra, yr hwn a obeithiodd y gallai ei berswadio i fod yn flaenor i'w byddinoedd, yn yr ymgyrch ag oedd yn awr yn barod i fyned yn ei gylch. Ond efe a wrthododd gynhygion y frenhines: ac heb gymmeryd dychryn oddiwrth uchder y dymmestl a ddigwyddodd y pryd hynny, nac o herwydd y terfysgoedd ag ydoedd yn awr yn Itali, fe fordwyodd i Rufain.

Ond fel yr oedd mewn perygl o amgylch Pamphylia, ac y gorfu arnynt fwrw allan y rhan fwyaf o lwyth y llong, efe, gyd ag anhawsdra, a ddaeth yn ddiogel i Rhodes; lle a niweidiwyd yn fawr yn y rhyfel â Cassius. Yno efe a dderbyniwyd gan ei gyfeillion Ptolemy a Saphinius. Ac er ei fod y pryd hwnnw a diffyg arian arno, parottôdd long dra helaeth, ym mha un y darfu iddo ef a'i gyfeillion fordwyo i Brandusium, ac a aethant oddiyno i Rufain, gyd â phob brys; ym mha le yr aethant yn gyntaf oll at Antony, ar gyfrif y cyfeillgarwch oedd rhwng ei dad ag ef: ac efe a osododd ger ei fron ef ei amgylchiad trallodedig ei hun, a'i deulu, y rhai a adawsai mewn amddiffynfa wedi gwarchae arni; a darfod iddo fordwyo atto ef trwy dymmestl, i wneuthur ei gŵyn wrtho ef am gynnorthwy.

Ar hyn Antony a gynhyrfwyd â thosturi wrth y cyfnewidiad a wnaethpwyd yn amgylchiadau Herod; a hyn wrth alw i gof mor haelionus y croesawyd ef gan ei dad Antipater; ond yn fwy enwedigol ar gyfrif rhinweddau Herod ei hun. Felly fe ymroddodd ar hynny ei wneuthur yn frenin yr Iuddewon, yr hwn a wnaethai ei hun gynt yn detrarch. Yr ymryson hefyd oedd rhyngddo ag Antigonus ydoedd achlysur arall; a hwnnw nid yn un o lai pwys na'r parch mawr oedd ganddo i Herod. Canys yr oedd yn golygu Antigonus fel un terfysglyd, ac yn elyn i'r Rhufeiniaid. Ac am Cæsar, Herod a'i

cafodd mewn parodrwydd gwell nag Antony: megis yn cofio y rhyfeloedd a aethai trwyddynt gyd â'i dad: y derbyniad croesawus a gyfarfu oddiwrtho, a'r ewyllys da a ddangosasai tu ag atto ef; heblaw yr ymdrechiadau a welsai hefyd yn Herod. Felly fe alwodd y senedd ynghyd; i ba un Messalas, ac ar ei ol ef Aratinus, a ddygasent Herod i mewn o'u blaen; gan roddi cyflawn hanes o rinweddau ei dad, a'i ewyllys da ei hun i'r Rhufeiniaid.

Ar yr un amser tystiasant fod Antigonus yn elyn iddynt; nid yn unig o herwydd ei fod yn barod i amrafaelio â hwynt, ond am ei fod yn awr yn edrych heibio i'r Rhufeiniaid, ác yn cymmeryd meddiant o'r llywodraeth trwy awdurdod y Parthiaid. Y rhesymmau hyn a effeithiodd yn fawr ar y senedd: ar ba amser Antony a ddaeth i mewn, ac a ddywedodd wrthynt, y byddai er eu mantais yn y rhyfel â'r Parthiaid i fod Herod yn frenin. Felly hwy oll a roesant eu cydsyniad iddo. Ac wedi gwasgaru o'r senedd, Antony a Cæsar a aethant allan, gyd â Herod rhyngddynt; tra'r oedd y prif-swyddog a'r swyddogion eraill yn myned o'u blaen, mewn trefn i offrymmu aberth; ac i osod i fynu y gorchymmyn neu ordinhad yn y cabidyldy. Antony hefyd a wnaeth wledd i Herod, ar ddydd cyntaf ei deyrnasiad.

## PENNOD XV.

*Antigonus yn gwarchae ar y rhai oedd ym Massada; ond Herod yn eu rhyddhau o'u cyfyngfa ar ei ddychweliad o Rufain, ac yn myned rhagddo i Jerusalem; lle y mae'n cael Silo wedi ei lygru â gwobrwyon.*

YN y cyfamser, Antigonus a warchaeodd ar y rhai oedd ym Massada; y rhai oedd ganddynt gyflawnder o bob angenrheidiau eraill, ond eu bod mewn diffyg o ddwfr. Ar ba gyfrif Joseph, brawd Herod, ydoedd yn tueddu i ddiangc ymaith at yr Arabiaid, gyd â dau cant o'i gyfeillion ei hun, o herwydd iddo glywed fod Malichus wedi edifarhau am ei droseddiadau ym mherthynas i Herod. Ac fe fuasai mor gyflym yn ei ymadawiad a'r amddiffynfa, a phe buasai ond aros y noson honno, syrthiasai i'r ddaear wlaw mawr; yn gymmaint a llenwi ei beiriau, neu lestri mawrion, o ddwfr, ac felly nid ydoedd tan un angenrheidrwydd o ddiangc ymaith. Ar ol hyn, gan hynny, hwy a ruthrasant ar blaid Antigonus oedd yn gwarchae arnynt, ac a laddasant lawer o honynt: rhai mewn brwydrau cyhoeddus, ac eraill mewn dirgel gynllwynion. Ac nid oeddynt bob amser yn llwyddianus yn eu hymosodiadau: canys hwy a gurwyd, ac a redasant ymaith.

Yn y cyfamser Ventidius, y cad-flaenor Rhufeinaidd a ddanfonwyd o Syria i attal rhuthriadau y Parthiaid; ac wedi iddo wneuthur hynny, efe a ddaeth i Judea; gyd ag esgus yn wir o o gynnorthwyo Joseph, a'i blaid ef; ond mewn gwirionedd i gael arian gan Antigonus. Ac wedi gwersyllu o hono yn agos i Jerusalem, cyn gynted ag y cafodd ddigon o arian efe a aeth ymaith gyd â'r rhan fwyaf o'i fyddinoedd. Etto ymhellach fe adawodd Silo, gyd â rhan o honynt; rhag, os cymmerai rai o honynt ymaith, fod i'w waith yn cymmeryd gwobrwyon ddyfod yn fwy i'r amlwg. Yn awr Antigonus a obeithiodd y denai'r Parthiaid drachefn yn gynnorthwywyr iddo; a chan hynny fe gadwodd i fynu ddeall da rhyngddo â Silo, rhag i ryw rwystr gael ei osod yn ffordd ei obeithion.

Erbyn yr amser hwn yr oedd Herod wedi mordwyo o Itali, a dyfod i Ptolemais. A chyn gynted ag y cafodd ynghyd fyddin liosog o wŷr tramor, ac o'i wladwyr ei hun, fe wnaeth ymgyrch trwy Galilea yn erbyn Antigonus; yn yr hyn y cynnorthwywyd ef gan Ventidius a Silo: y rhai a ddarfu i Dellius, gwr a ddanfonwyd gan Antony, eu perswadio i ddwyn Herod i'w deyrnas. Yn awr Ventidius ydoedd y pryd hwn ym mysg y dinasoedd, yn llonyddu'r terfysgoedd a ddigwyddasent oblegid y Parthiaid; tra'r oedd Silo yn Judea, wedi ei lygru gan y gwobrwyon a roddasid iddo gan Antigonus. Etto nid oedd Herod ei hun yn ymddifad o alluogrwydd; ond rhifedi ei fyddinoedd a gynnyddasant yn feunyddiol, megis ag yr aeth ymlaen; a holl Galilea, oddigerth ychydig, a ymgyssylltasant eu hunain ag ef. Felly fe feddyliodd ymosod ynghylch ei antur fwyaf angenrheidiol, yr hyn oedd cael meddiant o Massada, mewn trefn i ryddhau ei berthynasau o'r cynllwyn yr oeddynt tano. Ond etto yr oedd Joppa yn sefyll yn ei ffordd, ac yn rhwystr iddo fyned yno. Canys yr ydoedd yn angenrheidiol cymmeryd y ddinas honno yn gyntaf, yr hon oedd

yn llaw'r gelyn: a phan elai i Jerusalem, na adawid un wersyllfa ym meddiant y gelynion y tu ol iddo. Silo hefyd yn ewyllysgar a unodd ag ef; megis â chanddo yn awr achlysur digonol i dynnu ymaith ei fyddinoedd oddiwrth Jerusalem. Ac wedi i'r Iuddewon ei erlid, a gwasgu arno yn ei enciliad; Herod a ruthrodd arnynt, gyd â chorph bychan o wŷr, ac a'u dododd yn fuan ar ffo, gan achub Silo pan oedd yn gyfyng arno.

Ar ol hyn, Herod a gymmerodd Joppa; ac yna a brysurodd i Massada i ryddhau ei berthynasau. Yn awr, fel yr oedd yn cyrchu yno, amryw a ddaethant atto; gan gael eu tueddu i hynny, rhai oddiwrth eu hadnabyddiaeth â'i dad; eraill trwy'r clod a ynnillasai eisoes ei hun: a rhai mewn trefn i ad-dalu'r cymmwynasau a dderbyniasent ganddynt bob un. Ond etto'r hyn a ynnillodd y nifer fwyaf i fod o'i ochr ef, ydoedd eu gobaith o ffafr oddi wrtho, pan sefydlid ef yn ei deyrnas. Felly'r ydoedd wedi cael byddin eisoes ynghyd ag oedd yn anhawdd ei gorchfygu. Ond Antigonus a osododd gynllwyn iddo yn ei gychwyniad allan; ar yr hyn ni wnaeth ond ychydig, neu ddim niweid i'w elynion. Pa fodd bynnag efe a ryddhaodd yn hawdd ei berthynasau ag oedd yn Massada, yn gystal a'r amddiffynfa Ressa; ac yna fe aeth rhagddo i Jerusalem: lle y darfu'r milwyr oedd gyd â Silo ymgyssylltu eu hunain â'r eiddo ef; megis ag y darfu amryw o'r ddinas trwy arswyd o'i awdurdod.

Yn awr, wedi iddo wersyllu y tu gorllewinol i'r ddinas, y gwarchawdlu oedd yno a gyfeiriasant ac a ergydiasant eu saethau attynt; tra'r oedd eraill yn rhuthro allan yn finteioedd, ac yn ymosod ar y rhai oedd y tu wyneb i'r ddinas. Ond Herod a orchymmynodd i gyhoeddiad gael ei wneuthur oddiar y mûr, ei fod ef wedi dyfod er lleshad y bobl, ac er amddiffyniad eu dinas: heb ddim bwriad ganddo i ymddial ar ei elynion cyhoeddus; ond i guddio eu gwrthryfelgarwch, er bod o honynt yn elynion cyndyn i'w erbyn. Yn awr, y milwyr ag oedd tros Antigonus a wnaethant floedd wrthwynebol; ac ni adawsant neb i wrando ar y cyhoeddiad, na newid eu plaid. Felly Antigonus a roddodd orchymmyn i'w filwyr i guro ymaith y gelyn oddiar y muriau. Yn ganlynol, hwy yn fuan a daflasant eu saethau attynt oddiar y tŷrau, ac a'u dodasant i ffoi.

Ac yma y bu ddarfod i Silo ddangos ei fod wedi cymmeryd gwobrwyon. Canys efe a barodd i amryw o'r milwyr rwgnach ynghylch eu diffyg o angenrheidiau: ac i ofyn eu taliadau, mewn trefn i ynnill lluniaeth iddynt eu hunain: ac i ofyn ganddo eu harwain i le cyfleus i auafu: o herwydd fod yr holl leoedd o amgylch y ddinas wedi eu difrodi gan fyddin Antigonus; y rhai a gymmerasent bob peth ymaith. Wrth hyn fe gythruddodd y fyddin, ac a ymdrechodd i'w tynnu oddiar y gwarchae. Ond Herod a aeth at y cadbeniaid oedd tan Silo, ac at lawer o'r milwyr, ac a ddeisyfodd ganddynt na adawent ef, yr hwn a ddanfonasid yno gan Cæsar, ac Antony, a'r senedd. Oblegid y cymmerai efe ofal i ddiwallu eu hangenrheidiau y dydd hwnnw. Yn ganlynol, ar ol gwneud y deisyfiad hwn, aeth ymaith ar fyr i'r wlad, ac a ddygodd yno y fath gyflawnder o angenrheidiau, ag y torrodd ymaith holl esgusion Silo: ac mewn trefn na fyddai arnynt ddiffyg angenrheidiau y dyddiau canlynol, efe a ddanfonodd at y bobl oedd o amgylch Samaria, (yr hon ddinas a ymgyssylltasai ag ef,) ar fod iddynt ddwyn ŷd, gwin, olew, ac anifeiliaid i Jericho. Pan glybu Antigonus hyn, fe ddanfonodd rai o'i blaid gyd â gorchymmyn i rwystro, â chynllwyn, casglwyr yr ŷd. Hyn a ufuddhawyd iddo: a lliaws mawr o wŷr arfog a grynhoasant o gwmpas Jericho, y rhai a orweddent ar y mynyddoedd, i wylied y sawl oedd yn dwyn yr ymborth yno. Etto nid oedd Herod yn segur, ond fe gymmerodd gyd ag ef bump o finteiodd Rhufeinig, a phump o rai Iuddewig, gyd a rhai lluoedd cyflogol yn gymmysgedig yn eu mysg hwynt, ac heblaw hyn rhai gwŷr meirch, pa rai a ddug i Jericho. Ac wedi dyfod fe gafodd y ddinas yn anghyfannedd: ond yr oedd pum cant o wŷr, gyd â'u gwragedd â'u plant, y rhai a feddiannasent bennau'r mynyddoedd. Y rhai hyn a gymmerodd, ac a'u danfonodd ymaith, tra y syrthiodd y Rhufeiniaid ar y rhan arall o'r ddinas, ac ai hanrheithiasant hi, wedi cael y tai yn llawnion o bob peth dymunol. Felly y brenin a adawodd wersyllfa yn Jericho, ac a ddaeth yn ei ol, gan anfon y fyddin Rufeinig i'r dinasoedd ag oedd wedi uno ag ef, i

auafu yno: sef, *† Judea, Galilea, a Samaria. Antigonus hefyd trwy wobrwyon, a gafodd gydsyniad Silo, i adael rhan o'i fyddin i gael derbyniad yn Lydda, fel anrheg i Antigonus.

## PENNOD XVI.

*Herod yn cymmeryd Sepphoris; ac yn darostwng yr yspeilwyr oedd yn yr ogofeydd. Y mae hefyd yn dial ei hun ar Macheras; ac yn myned at Antony ynghynllwyn Samosata.*

Y RHUFEINIAID yn awr oeddynt yn byw mewn llawnder, ac yn gorphwyso oddiwrth ryfel. Pa fodd bynnag, ni orphwysodd Herod, ond efe a oresgynnodd Idumea, ac a'i cadwodd gyd â dwy fil o wŷr traed, a phedwar cant o wŷr meirch: a hyn a wnaeth trwy anfon ei frawd Joseph yno; fel na therfysgid hwynt gan Antigonus. Efe hefyd a symmudodd ei fam, a'i holl berthynasau a fuasai ym Massada i Samaria: ac wedi iddo eu sefydlu yn ddiogel, efe a aeth ymaith i gymmeryd rhai o barthau Galilea, ac i yrru o'r wlad y gwersyllwyr a adawsid yno gan Antigonus ‡.

Ond wedi i Herod gyrraedd i Sepphoris ar eira tra mawr, fe gymmerodd y ddinas heb ddim anhawsdra; a'r gwarcheidwaid a ddylasent ei hymddiffyn a ffoisent ymaith cyn gwneuthur ymosodiad arni. Yma y rhoddodd gyfleusdra i'w ganlynwyr, a fuasai'n gyfyng arnynt, i esmwythau eu hunain, gan fod yn y ddinas honno amlder o bob angenrheidiau. Yna fe frysiodd i fyned ymaith at yr yspeilwyr, y rhai oedd yn yr ogofeydd, ac yn difrodi rhan fawr o'r wlad, ac yn gwneud cymmaint o ddrygau i'w phreswylwyr ag a allai rhyfel ei wneuthur. Yn ganlynol, efe ym mlaenllaw a ddanfonodd dair mintai o wŷr traed, a llu o wŷr meirch i'r pentref Arbella; ac a ddaeth ei hun ym mhen y deugain niwrnod ar ol hynny, gyd â gweddill y fyddin. Etto nid oedd y gelyn yn arswydo wrth ei agoshad, ond hwy a'u cyfarfuant ef mewn arfau: canys eu deheudra ydoedd yr un hynny o eiddo milwyr, ond eu hyfdra ydoedd hyfdra yspeilwyr. Pan ddaethant, gan hynny, i frwydr bendant, hwy a ddodasant adain asswy byddin Herod i ffoi, ynghyd â'r un ddehau yn ol hynny: ond Herod gan droi o amgylch ar fyrr oddiwrth ei asgell ddehau ei hun, a ddaeth yn gynnorthwy iddynt, ac a wnaeth i asgell asswy ei fyddin ddychwelyd yn ol o'u ffoedigaeth, ac a gwympodd ar yr erlidwyr, hyd na's gallant oddef yr ymosodiad a wnaed yn ddisymmwth arnynt, ac felly y rhedasant ymaith.

Ond Herod a'u dilynodd hwynt, ac a ddifethodd ran fawr o honynt, nes gwasgaru y rhai a adawyd tu hwnt i afon yr Iorddonen: a Galilea a ryddhawyd oddiwrth yr holl ofnau yr oeddynt tanynt, ond oddiwrth y rhai oedd yn weddill, ac yn ymguddio mewn ogofëydd; pa rai oedd yn gofyn ychwaneg o amser, cyn y gellid eu gorchfygu hwynt. Mewn trefn i hyn, Herod yn y lle cyntaf a ddosparthodd ffrwyth eu llafur blaenorol i'r milwyr; ac a roddodd i bob un o honynt gant a deg a deugain drachmae o arian, a llawer yn rhagor i'r blaenoriaid; ac a'u danfonodd i'w gauaf-leoedd. Danfonodd hefyd at ei frawd ieuangaf Pheroras i ofalu am farchnad dda iddynt, lle y gallent brynu iddynt eu hunain luniaeth; ac hefyd am wneuthur caer ynghylch Alexandrium.

Yn y cyfamser Antony ydoedd yn aros yn Athens; pan y darfu i Ventidius alw am Silo a Herod i ddyfod i'r rhyfel yn erbyn y Parthiaid; ond a orchymmynodd iddynt yn gyntaf sefydlu matterion yn Judea. Felly Herod yn ewyllysgar a ollyngodd Silo ymaith i fyned at Ventidius: ond efe ei hun a wnaeth ymgyrch yn erbyn y rhai oedd yn gorwedd yn yr ogofëydd. Yn awr yr ogofeydd hyn oeddynt yngelltydd creiglyd y mynyddoedd, ac ni ellid dyfod attynt o un tu; gan nad oedd yn unig ond llwybrau gŵyrgam a chulion yn arwain attynt. Ond y graig a orweddodd y tu-wyneb iddynt oedd â dyffrynoedd tra dwfn islaw, a goriwared tra serth odditanynt. Yn gymmaint ag i'r brenin ammeu tros hir amser pa beth i'w wneuthur; o achos math o ammhossibilrwydd o gymmeryd y lle: etto efe o'r diwedd a wnaeth ddefnydd o ddyfais ag oedd yn ddarostyngedig i'r perygl mwyaf. Canys efe a ollyngodd i lawr y rhai mwyaf cefnog o'i wŷr mewn cistiau, gan eu gosod wrth enau y ffau. Yn awr y dynion hyn a laddasant yr yspeilwyr a'u teuluoedd:

* Felly y dylai fod ysgatfydd yn yr Hynafiaethau hefyd, XIV. 15. Y rheswm sy'n eglur; mai er y gallai fod gan Herod ran o Judea yn awr tano; etto ni ymddengys ei fod hyd yn hyn wedi cael tano ryw rannau o Idumea, nes eu darostwng gan ei frawd yn ol hynny.

† Neu Idumea.

‡ Hynaf. XIV. 15.

a phan wrthwynebent, taflent i mewn dân i'w mysg, ac a'u llosgent. Ac fel yr ewyllysiodd Herod arbed rhai o honynt, gwnaeth gyhoeddiad a'r fod iddynt ddyfod a rhoddi eu hunain i fynu iddo ef. Ond ni ddaeth un o honynt yn ewyllysgar atto ef. Ac o'r rhai a orfu arnynt ddyfod, llawer a ddewisasant farwolaeth yn hytrach na chaethiwed. Ac yma rhyw hen ŵr, tad saith o blant, pa rai, gyd â'u mam, a ofynasant gennad ganddo i fyned allan, y rhai a laddwyd ganddo yn y dull canlynol: Gorchymynodd i bob un o honynt ddyfod allan, tra safai efe ei hun wrth enau'r ffau; ac efe a laddodd pa rai bynnag a ddeuai allan yn ol-yn ol o honynt. Herod ydoedd mewn agosrwydd ddigon i weled hyn; a'i dosturi a gynhyrfwyd o'i herwydd: ac efe a estynodd allan ei ddeheulaw tu ag at yr hen ŵr, ac a ddymunodd arno arbed ei blant. Etto ni wrandawodd ddim oll ar yr hyn a ddywedai; ond efe a waradwyddodd Herod am waelder ei dylwyth; ac efe a laddodd ei wraig yn gystal a'i blant. Ac wedi iddo fwrw eu cyrph meirwon tros y dibyn, efe yn ddiweddaf a fwriodd ei hun i lawr ar eu hol hwynt.

Trwy'r moddion yma y darfu i Herod ddarostwng yr ogofeydd, a'r yspeilwyr oedd ynddynt. Yna fe adawodd yno ran o'i fyddin, cynnifer ag a feddyliodd yn ddigon i ragflaenu terfysg; gan wneuthur Ptolemy yn llywydd arnynt, ac a ddychwelodd i Samaria. Efe a arweiniodd hefyd gyd ag ef dair mil o wŷr traed, a chwe' chant o wŷr meirch yn erbyn Antigonus. Yn awr, y rhai a arferent godi terfysg yn Galilea, a chanddynt gyfleustra i wneuthur hynny wedi ei ymadawiad, a syrthiasant yn annisgwyladwy ar Pheroras, blaenor ei luoedd, ac a'i lladdasant ef. Hwy hefyd a ddifrodasant y wlad, ac yna a giliasant i'r corsydd, a lleoedd anhawdd i ddyfod o hyd iddynt. Ond pan glywodd Herod am yr ymddygiad gwrthryfelgar hwn, fe ddaeth yn uniongyrch i amddiffyn y wlad, ac a ddifethodd lawer o'r ymrysonwyr; gan godi gwarchae yr holl amddiffynfeydd a warchaeasent hwy arnynt. Efe hefyd a gododd y deyrnged o gant o dalentau oddiar ei elynion, megis cosp am y cyfnewidiadau a wnaethent yn y wlad.

Erbyn y pryd hyn y Parthiaid, wedi eu gyrru eisoes allan o'r wlad, a darfod lladd Pacorus; Ventidius, wrth orchymmyn Antony, a ddanfonodd fil o wŷr meirch, a dwy leng, fel cynnorthwywyr i Herod yn erbyn Antigonus. Yn awr Antigonus a ddeisyfodd ar Macheras, eu cad-flaenor, trwy lythyr, am iddo ddyfod i'w gynnorthwyo ef; gan wneuthur llawer o achwynion galarus ynghylch trais Herod, ac ymherthynas i'r niweid a wnaeth efe i'r deyrnas: ac a addawodd roddi arian iddo am ei gynnorthwy. Ond ni chydsyniodd efe â'i gynnygiad, i fradychu'r achos oedd ganddo yn llaw: canys ni feiodd ar yr hwn a'i danfonasai: yn enwedig pan oedd Herod yn rhoddi mwy o arian iddo nag oedd y lleill yn ei gynnyg. Felly fe gymmerodd arno fod yn gyfeillgar ag Antigonus; ond efe a ddaethai yn yspïwr i ddatguddio ei achosion; er na ddarfu yn hyn gyduno â Herod, yr hwn a fynnai ei berswadio i beidio gwneuthur felly. Ond Antigonus a ganfu y peth ydoedd yn ei fwriadu ym mlaen llaw, ac a'i cauodd allan o'r ddinas; ac a amddiffynodd ei hun yn ei erbyn megis ei elyn oddiar y muriau, nes oedd Macheras yn cywilyddio am yr hyn a wnaethai, ac a giliodd i Emmaus at Herod. Ac fel yr oedd mewn cynddaredd o herwydd ei siommedigaeth, fe laddodd yr holl Iuddewon a gyfarfyddai â hwynt, heb arbed y rhai oedd tros Herod, ond gwneuthur â hwynt megis pe buasent o du Antigonus.

Wrth hyn yr oedd Herod yn dra digllon; ac a ydoedd yn myned i ymladd yn erbyn Macheras fel ei elyn. Ond efe a attaliodd ei ddigter, ac a aeth ymaith at Antony, i gyhuddo Macheras o ddrwg-lywodraeth. Ond Macheras a wnaed yn ddeallus o'i droseddiadau, ac a ganlynodd yn uniongyrch ar ol y brenin: ac a daer-erfyniodd arno, a chafodd ei ddymuniad, o ddarfod iddo gymmodi ag ef. Pa fodd bynnag ni ddarfu i Herod roddi heibio ei amcan o fyned at Antony. Ond pan glywodd ei fod yn gwarchae ar Samosata, gyd â byddin liosog, yr hon sydd ddinas gadarn yn agos i Euphrates, fe wnaeth fwy o frys: gan sylwi mae'n awr oedd y cyfleustra i ddangos ar unwaith ei wrolder; a gwneuthur yr hyn oedd fwyaf cymmeradwy gan Antony. Yn wir pan ddaeth, fe roddodd derfyn yn fuan ar y cynllwyn hwnnw, ac a laddodd nifer mawr o'r barbariaid, a

chymmerodd oddiwrthynt ysglyfaeth nid bychan: yn gymmaint ag i Antony, yr hwn a ryfeddasai ei gefnogrwydd gynt, ei ryfeddu yn awr yn fwy. Yn ganlynol efe a bentyrrodd lawer ychwaneg o anrhydedd arno; ac a roddodd iddo obaith mwy cadarn o ynnill ei deyrnas. Ac yn awr y brenin Antiochus a orfu iddo roddi i fynu Samosata.

## PENNOD XVII.

*Am farwolaeth Joseph brawd Herod, yr hyn a arwyddwyd i Herod mewn breuddwydion; rhyfedd waredigaeth Herod; torri pen Pappus; gwarchae ar Jerusalem; a phriodas Herod â Mariamne.*

YN y cyfamser achosion Herod yn Judea ydoedd mewn cyflwr drwg: efe a adawsai ei frawd mewn cyflawn awdurdod; ond a'i rhybuddiodd i beidio gwneuthur dim anturiaethau yn erbyn Antigonus, hyd oni ddychwelai ef: am na fyddai Macheras yn fath gynnorthwywr ag y gallai efe ymddiried iddo; fel yr ymddangosodd oddiwrth yr hyn a wnaethai eisoes. Ond cyn gynted ag y clybu Joseph fod ei frawd wedi myned i bellder mawr, efe a esgeulusodd y gorchymmyn a dderbyniasai, ac a gyrchodd tu a Jericho gyd â phump o finteioedd milwraidd, y rhai a roesai Macheras atto ef. Yr ymsymmudiad yma ydoedd yn wir i feddiannu'r ŷd, fel ag yr oedd yn awr yn ganol yr haf. Ond pan oddiweddodd ei elynion ef yn y mynyddoedd, ac mewn lleoedd anhawdd tramwyo trwyddynt efe a laddwyd ei hun, wrth ymladd yn wrol, a'r holl luoedd Rhufeinig gyd ag ef. Canys y minteioedd hyn a godasid yn ddiweddar, ac a gasglasid o Syria; ac nid oedd dim cymmysg o'r rhai a elwid yn filwyr profiadol yn eu plith, y rhai a allasent fod yn gymmorth i'r rhai anghyfarwydd mewn rhyfel.

Ni fu ddigon gan Antigonus y fuddugoliaeth hon; ond efe a aeth ym mlaen i'r fath gynddaredd, ag i wneud triniaeth farbaraidd â chorph Joseph. Canys wedi iddo gael meddiant o gyrph y rhai a laddwyd, efe a dorrodd ymaith ei ben ef; er y rhoesai ei frawd Pheroras iddo ddeg talent a deugain, fel gwerth ei brynedigaeth am dano. Ac yn awr achosion Galilea a ddodwyd yn y fath radd o annhrefn ar ol y frwydr hon, fel y darfu i'r rhai o blaid Antigonus ddwyn y pennaethiaid oedd o du Herod at y llynnoedd, ac yno a'u boddasant hwynt. Gwnaethpwyd cyfnewidiad mawr hefyd yn Idumea, lle'r oedd Macheras yn adeiladu mûr ynghylch un o'r amddiffynfeydd, yr hon a elwid Gittha. Ond ni wnaethid Herod etto yn hyspys o'r pethau hyn. Canys ar ol cymmeryd Samosata, ac wedi i Antony osod Sossius i olygu achosion Syria, a rhoddi gorchymmyn iddo i gynnorthwyo Herod yn erbyn Antigonus, efe a ymadawodd i fyned i'r Aipht. Ond Sossius a ddanfonodd ddwy leng o'i flaen i Judea, i gynnorthwyo Herod; ac a ganlynodd ei hun yn fuan ar ol hynny gyd â gweddill y fyddin.

Yn awr pan oedd Herod yn Daphne, wrth Antioch, fe gafodd rai breuddwydion ag oedd yn eglur rag-ddangos marwolaeth ei frawd; ac fel y neidiodd allan o'i wely mewn modd terfysglyd, daeth yno negeseuwyr i hyspysu iddo am y digwyddiad alaethus hwnnw. Felly wedi iddo alaru oblegid marwolaeth ei frawd tros amser, fe roddodd ymaith y rhan fwyaf o'i alarwisgoedd, ac a frysiodd i wneud ymgyrch yn erbyn ei elynion. Ac wedi iddo siwrneia uwchlaw ei allu, a myned cyn belled a Libanus, fe gafodd atto wyth gant o wŷr ag oedd yn byw yn agos i'r mynydd hwnnw, yn gynnorthwywyr iddo; ac fe gyssylltodd gyd â hwynt un lleng Rufeinaidd: gyd â pha rai, cyn ei bod yn ddydd, fe wnaeth ruthr i mewn i Galilea, gan gyfarfod â'i elynion, a'u gyrru yn eu hol i'r lle a adawsent. Efe hefyd a wnaeth ymosodiad dioed ar yr amddiffynfa: Etto gorfu arno, gan dymmestl dra ofnadwy, wersyllu yn y pentrefi cymmydogol, cyn gallu ei chymmeryd hi. Ond wedi ychydig ddyddiau o amser, yr ail leng, a ddanfonwyd oddiwrth Antony, a ymgyssylltasant ag ef; a'r gelyn a arswydwyd wrth ei gadernid, ac a ymadawsant â'r amddiffynfeydd yn y nôs.

Ar ol hyn efe a deithiodd trwy Jericho; megis yn gwneuthur pa ryw frys a allai i ddial marwolaeth ei frawd ar y lleiddiaid. Lle y digwyddodd iddo ef arwydd oddiwrth ragluniaeth, wedi i ba un fyned heibio cafodd y gair ei fod yn dra anwyl gan Dduw. Canys yr hwyr hwnnw yr oedd yn gwledda gyd ag ef amryw bennaethiaid: ac wedi i'r wledd honno

fyned trosodd, a'r holl wahoddedigion wedi myned allan, y tŷ yn ebrwydd a syrthiodd i lawr. Ac fel y barnodd hyn yn arwydd cyffredinol o'r peryglon yr oedd i fyned tanynt, a'r modd y diangai yn yn rhyfel yr oedd yn myned yn ei gylch, yn y boreu nesaf cychwynodd ym mlaen gyd â'i fyddin. Ynghylch chwe' mil o'i elynion a ddaethant ar eu rhedfa i lawr o'r mynyddoedd, ac a ddechreuasant ymladd â'r rhai blaenaf o'r fyddin. Etto ni feiddient fod mor hŷ ag ymladd â'r Rhufeiniaid law-law: ond taflasant gerrig, ac a ergydiasant saethau attynt o hirbell. Trwy ba foddion yr archollasant nifer mawr o honynt. Ym mha ymdrech y clwyfwyd Herod â saeth yn ei ystlys.

Yn awr fel yr oedd Antigonus yn chwennych dangos ei hun yn rhagori ar Herod, nid yn unig ynghefnogrwydd, ond yn rhifedi ei wŷr; danfonodd Pappus, un o'i gymdeithion, gyd â byddin yn erbyn Samaria; digwyddiad pa un ydoedd i wrthwynebu Macheras. Ond Herod a redodd tros wlad y gelyn,ac a ddymchwelodd saith o ddinasoedd bychain, gan ddifetha dwy fil o ddynion oedd ynddynt, a llosgi eu tai hwynt; ac yna fe ddychwelodd yn ol i'w wersyll. Ond ei brif-wersyllfa ydoedd mewn pentref a elwid Cana.

Yn awr lliaws mawr o Iuddewon a ddaethant atto yn feunyddiol, allan o Jericho, a pharthau eraill y wlad. Rhai a gynhyrfwyd i wneuthur hynny o herwydd eu casineb i Antigonus; a rhai o barch i'r pethau hynod a wnaethid gan Herod. Ond eraill a arweinid i hynny o chwant di-reswm i gyfnewidiad. Felly fe syrthiodd arnynt yn ddisymmwth. Am Pappus a'i wŷr nid oeddynt yn arswydo, nac wrth eu rhifedi, na'u gwresowgrwydd; ond a aethant allan yn dra chefnog i ymladd â hwynt. A hwy a ddaethant i agos ymladdfa. Yn awr rhannau eraill o'u byddin a wnaeth wrthwynebiad tros amser. Ond Herod gan redeg yr antur mwyaf trwy'r cynddeiriogrwydd yr oedd ynddo, o herwydd lladd ei frawd, fel y gallai ddial ar yr awdwyr o hono, efe yn fuan a drechodd y rhai oedd yn ei wrthwynebu: ac ar ol eu curo hwynt, efe yn wastad a droai rym ei fyddin at y rhai a safent i'w erbyn, ac a'u herlidiai hwynt. Felly lladdfa fawr a wnaethpwyd: pan yrrwyd rhai yn ol i'r pentrefi y daethent allan o honynt. Efe hefyd a bwysodd yn drwm ar y rhai olaf o'u milwyr, a lladdwyd o honynt nifer liosog. Efe hefyd a ruthrodd i'r maes-dref at y gelyn, lle'r oedd pob tŷ wedi ei lenwi âg arfogion; a'r ystafelloedd uchaf oedd yn llawn o filwyr i'w hamddiffyn hwynt. Ac wedi iddo guro y rhai oedd o'r tu allan, efe a dynnodd y tai yn ddrylliau, ac a lusgodd allan y rhai oedd o'u mewn. Ar lawer y parodd i'r cronglwydydd gael eu bwrw i lawr; trwy'r hyn y lladdwyd hwynt yn bentyrrau. Ac am y rhai a ddeuent allan, y milwyr a'u derbynient hwy â'u cleddyfau yn eu dwylaw. A lliaws y rhai a laddwyd, ac a orweddent yn bentyrrau, oedd mor fawr, fel na allai'r congcwerwyr fyned ym mlaen ar hyd y ffyrdd.

Yn awr eu gelynion ni allent gynnal eu dyrnod. Felly pan welodd y lliaws o honynt, y rhai a ymgynnullasent ynghyd, fod y rhai yn y pentrefi wedi eu lladd, hwy a wasgarasant eu hunain, ac a ffoisant ymaith. Ar hyder pa fuddugoliaeth, Herod a aethai rhagddo yn uniongyrch tu a Jerusalem, pe na luddiasid ef gan ddyfnder y gauaf oedd yn dyfod ym mlaen. Hyn oedd y rhwystr a orweddodd yn eu ffordd i fyned ym mlaen i fuddugoliaethu yn gyfan-gwbl ar Antigonus, yr hwn eisoes oedd yn barod i ymadael â'r ddinas.

Yn awr, pan yn yr hwyr, y gollyngasai Herod ymaith ei gyfeillion, i ddiwallu eu hunain ar ol eu lludded; ac wedi ei fyned ymaith ei hun, tra'r oedd ei arfogaeth yn gynnes am dano, fel milwr cyffredin i ymdrochi, ac nad oedd ganddo ond un gwas gyd ag ef; cyn ei fyned i'r ymolchfa, un o'r gelynion a'i cyfarfu yn ei wyneb, gyd â chleddyf yn ei law; ac yna ail, ac wedi hynny y trydydd; a thrachefn ychwaneg o honynt. Y rhai hyn oeddynt wŷr a redasent ymaith o'r frwydr i'r ymolchfa yn eu harfogaeth; a hwy a orweddasant yno tros ennyd o amser yn guddiedig, a chyd â dychryn mawr. A phan welsant y brenin, hwy a grynasant rhag ofn, gan redeg heibio iddo yn ddychrynllyd, er ei fod yn noeth; ac a ymdrechasant i fyned ymaith i'r brif-ffordd. Yn awr, nid oedd ar ddamwain neb arall wrth law a allai ymaflyd yn y dynion hyn. Ac am Herod yr oedd efe yn boddloni ar beidio dyfod i niweid ei hun: felly hwy oll a gawsant fyned ymaith mewn diogelwch.

Ond ar y dydd nesaf Herod a dorrodd ymaith ben Pappus, yr hwn oedd flaenor llu Antigonus, ac a laddesid yn y frwydr; ac a'i danfonodd i'w frawd Pheroras, mewn ffordd o addaliad am fywyd eu brawd; canys efe oedd y gwr a laddodd Joseph. Yn awr, fel yr oedd y gauaf yn myned ymaith, Herod a gychwynodd tu a Jerusalem, ac a ddygodd ei fyddin at y muriau. Hon ydoedd y drydedd flwyddyn wedi ei wneud yn frenin yn Rhufain. Felly fe wersyllodd o flaen y deml: canys ar y tu hwnnw y gellid gosod cynllwyn i'r ddinas; ac oddiyno y darfu i Pompey gymmeryd y ddinas. Felly fe rannodd y gwaith ym mhlith y fyddin, ac a ddymchwelodd y maes-drefi, ac a gyfododd dri gwrth-glawdd, a pharodd adeiladu tŷrau ar y gwrth-gloddiau hynny; ac efe a adawodd y rhai mwyaf llafurus o'i gydnabyddiaeth i olygu'r gweithiau hyn. Ond efe a aeth ei hun i Samaria, i gymmeryd Mariamne, merch Alexander, mab Aristobulus, yn wraig; yr hon a ddyweddiasid iddo, megis y dywedasom o'r blaen: a'r modd yma y cwblhaodd y peth hwn yn amseriad cynllwyn y ddinas: canys yr ydoedd ei elynion ganddo mewn dirmyg mawr eisoes.

Wedi iddo y modd hwn briodi Mariamne, fe ddaeth yn ol i Jerusalem gyd â byddin fawr. Sossius hefyd a ymgyssylltodd ag ef â byddin liosog o wŷr meirch, a gwŷr traed: y rhai a ddanfonodd o'i flaen, trwy'r gwledydd canol; tra'r oedd efe ei hun yn cyrchu ar hyd Phœnicia. Ac wedi i'r holl fyddinoedd ddyfod ynghyd, y rhai oeddynt un mintai ar ddeg o wŷr traed, a chwe mil o wŷr meirch; heblaw y cynnorthwyadon o Syria, y rhai oedd yn ffurfio rhan nid bychan o'r fyddin, hwy a wersyllasant yn agos i'r gogledd-fur. Ymorphwysiad Herod ydoedd ar orchymmyn y senedd, gan ba rai y gwnaethid ef yn frenin. A Sosius oedd yn hyderu ar Antony, yr hwn a ddanfonodd y fyddin oedd gyd ag ef i gynnorthwyo Herod.

## PENNOD XVIII.

*Am ddarostyngiad Jerusalem gan Herod a Sosius, a marwolaeth Antigonus; hefyd am dymmer gybyddlyd Cleopatra.*

YN awr, lliaws yr Iuddewon ag oedd yn y ddinas, oeddynt wedi ymrannu yn llawer o bleidiau: canys y bobl ag oedd yn tyrru o amgylch y deml, a hwy yn rhan wannaf o honynt, a roddasant allan, mai, yn eu hamgylchiad presennol, dedwyddaf a mwyaf crefyddol oedd y dyn a fyddai farw gyntaf. Ond am y rhai hyfaf a chadarnaf o'r gwŷr, hwy a ymgasglent yn dyrfaoedd, ac a yspeilient eraill, mewn amryw dull a modd. A'r rhai hyn yn enwedig a yspeiliasant y lleoedd o amgylch y ddinas: a hynny o herwydd nad oedd dim ymborth wedi ei adael i'r dynion, nac i'r meirch. Etto rhai o'r gwŷr rhyfelgar, ag a arferent ymladd yn rheolaidd, a appwyntiwyd i amddiffyn y ddinas yn oed amser y gwarchae: a'r rhai hyn a yrrent y rhai a godent y gwrth-gloddiau ymaith oddiwrth y mur: a'r rhai yn wastadol oeddynt yn dyfeisio rhyw offeryn neu gilydd, i fod yn rhwystr i beirianau eu gelynion: ac nid oeddynt yn llwyddo drwy un ffordd gymmaint a thrwy y cudd-gloddiau tan y ddaear.

Yn awr, am yr yspeiliad a wnaethpwyd, y brenin a ddyfeisiodd am i gynllwynion gael eu gwneuthur felly, fel yr attalient eu rhuthriadau: ac am ddiffyg ymborth, efe a drefnodd fod iddo ddyfod o leoedd pellennig. Efe hefyd oedd rŷ galed i'r Iuddewon, o herwydd medrusrwydd y Rhufeiniaid yn y gelfyddyd o ryfela; er eu bod hwy yn hyfion i'r graddau eithaf. Yn awr, ni feiddient ddyfod i frwydr gyhoeddus â'r Rhufeiniaid, yr hyn ydoedd farwolaeth sicr: ond trwy eu cudd-gloddiau tan y ddaear, hwy a ymddangosent yn eu canol yn ddisymmwth. A chyn y curid un mur i lawr gan y Rhufeiniaid, hwythau a godent un arall yn ei le. Ac i gloi i fynu y cwbl ar unwaith, ni ddangosasant ddiffyg llafur neu ddyfais, am eu bod wedi ymroddi i barhau yn gyndyn hyd yr eithaf. Yn wir, er bod ganddynt fyddin mor liosog o'u hamgylch, hwy a oddefasant bum mis o gynllwyn: nes i rai a wŷr detholedig Herod anturio dringo ar y mûr, a syrthio i mewn i'r ddinas; megis ag y darfu canwriaid Sosius ar eu hol hwynt. Ac yn awr, hwy yn gyntaf a oresgynasant yr hyn oedd o amgylch y deml: ac fel yr oedd y fyddin yn tywallt i mewn, yr ydoedd lladdfa o liaws mawr o'r Iuddewon ar bob tu, o herwydd cynddaredd y Rhufeiniaid tu ag attynt, am eu gwrthnysigrwydd yn peri'r fath barhad i'r cynllwyn: yr Iuddewon hefyd ag ydoedd gyd â

Herod, a ymdrechasant yn egnïol na fyddai i neb o'u gwrthwynebwyr aros yn fyw. Felly hwy a ddifethwyd yn dorfeydd, fel yr oeddynt yn pentyrru ynghyd mewn lleoedd cyfyng, ac mewn teiau, neu oeddynt yn rhedeg ymaith i'r deml. Ac nid oedd trugaredd yn cael ei ddangos at blant bychain, neu'r rhai oedranus, nac at y rhyw gwannaf. Yn gymmaint ag er i'r brenin anfon o amgylch at y milwyr, i ddymuno arnynt arbed y bobl, ni ellid perswadio neb i attal eu deheulaw rhag tywallt gwaed; ond hwy a laddasant ddynion o bob oedran, fel rhai wedi gwallgofi. Yna y bu gorfod i Antigonus, heb ddim parch i'w fawredd gynt, neu yn bresennol, ddyfod i lawr o'r tŵr; yr hwn, wedi dyfod, a syrthiodd i lawr wrth draed Sosius: yr hwn, heb ddim tosturi tu ag atto, ar gyfnewidiad ei sefyllfa, a chwarddodd am ei ben uwchlaw mesur, gan ei alw * Antigona. Etto ni thriniodd ef fel gwraig, ac ni's gadawodd iddo fyned ymaith yn rhydd, ond a'i dododd tan rwymau yn garcharwr.

Ond gofal Herod yn awr, wedi cael ei elynion tan ei awdurdod, oedd attal sêl eigynnorthwywyr o ddieithriaid: canys y lliaws o bobl dramor oeddynt awyddus i weled y deml, a'r pethau cyssegredig yn y tŷ sanctaidd ei hun. Ond y brenin a ymdrechodd i'w hattal hwynt; mewn rhan trwy eu cynghori, ac mewn rhan trwy fygwth, ac hefyd trwy nerth y fyddin: gan farnu fod buddugoliaethu yn waeth na chael ei orchfygu iddo ef, os oedd un peth na ddylid ei weled i gael ei weled ganddynt hwy. Efe hefyd a waharddodd, ar yr un pryd, yspeilio'r ddinas; gan ofyn i Sosius yn y modd mwyaf difrifol, pa un a ydoedd y Rhufeiniaid, wrth arlloes y ddinas o arian ac o ddynion, â meddwl ganddynt i'w adael ef yn frenin ar ddiffeithwch? ac a ddywedodd wrtho, ei fod ef yn barnu arglwyddiaeth y ddaear gyfanneddol yn rhy fach o dâl am laddiad cynnifer o ddinasyddion. A phan ddywedodd Sosius, nad oedd ond cyfiawn ganiattâd i'r milwyr yr yspail hon, fel gwobr am yr hyn a ddioddefasent trwy holl amser y gwarchae; Herod a attebodd, y rhoddai efe i bob un o'r milwyr wobr allan o'i arian ei hun. Felly efe a bwrcasodd waredigaeth ei wlad, ac a gyflawnodd ei addewid iddynt, ac a wnaeth anrhegion yn y modd mwyaf godidog i bob milwr, a'u blaenoriaid yn gyfattebol i'w sefyllfaoedd; a chyd â haelioni brenhinol i Sosius ei hun: felly nid aeth neb o honynt ymaith ond mewn cyflwr tra chyfoethog. Yma y cyssegrodd Sosius goron o aur i Dduw, ac yna fe aeth ymaith o Jerusalem; gan arwain Antigonus gyd ag ef mewn rhwymau at Antony. Yna y dygodd y † fwyall ef i'w ddiwedd, yr hwn etto a chwennychodd yn fawr gael byw, ac â pheth gobaith gwan ganddo am hynny hyd y diwedd; ond am ei ymddygiad anwrol fe haeddodd yn dda farw o'i herwydd.

Ar hyn Herod a wahaniaethodd rhwng y lliaws oedd yn y ddinas: ac i'r rhai oedd o'i du ef, gwnaeth hwynt ymhellach yn gyfeillion iddo trwy'r anrhydedd a osododd arnynt: ond am y rhai a barchai Antigonus, efe a'u lladdodd hwynt. Ac fel yr oedd ei arian yn lleihau, efe a droes yr holl addurniadau oedd ganddo yn arian; ac a'u danfonodd i Antony, a'r rhai oedd gyd ag ef. Etto ni's gallai efe trwy hyn bwrcasu rhyddid oddiwrth bob dioddefiadau. Canys Antony yn awr oedd wedi ei lygad-tynnu yn ei serch i Cleopatra, ac a orchfygwyd yn hollol trwy ei hudoliaethau. Yn awr Cleopatra a ddodasai ei holl garennydd i farwolaeth, hyd nad oedd un agos iddi o waedoliaeth yn aros yn fyw. Ac ar ol hynny hi gyhuddodd y rhai oedd heb fod mewn un wedd yn perthyn iddi. Felly hi gyhuddodd y gwŷr pennaf ym mysg y Syriaid wrth Antony, gan ei berswadio i'w lladd hwynt; fel y perchennogai yr hyn a feddent. Ië, hi a estynnodd ei chwant anghymmedrol hyd at yr Iuddewon a'r Arabiaid; ac a ymdrechodd yn ddirgel i gael lladd Herod a Malichus, brenhinoedd y cenhedlaethau hyn, trwy ei orchymmyn ef.

Yn awr, ym mherthynas i'r annogaethau hyn, Antony a gyd-syniodd â hwynt mewn rhan; canys er ei gyfrif yn beth rhy ffiaidd ganddo i ladd y fath frenhinoedd da a mawrion; etto trwy hyn fe ymddieithriodd yn ei gyfeillgarwch tu ag attynt. Cymmerodd hefyd lawer o'u gwlad oddi wrthynt; ïe, hyd yn oed planhigfa'r palmwydd wrth Jericho, lle y tŷf hefyd y y pren bal-

* Antigona yw'r enw am wraig. Gwel Hynaf. XIV. 16

† Y farwolaeth hon o Antigonus a gadarnheir gan Plutarch a Strabo; y diweddaf o ba rai a grybwyllir gan Josephus ei hun.

sam, gan bennodi y cwbl iddi hi: megis hefyd yr holl ddinasoedd y tu yma i'r afon Eleutherus, oddigerth Tyre a Sidon. Ac wedi ei dyfod hi yn arglwyddes y rhai hyn, a chymdeithasu gyd ag Antony yn ei ymgyrch yn erbyn y Parthiaid, cyn belled ag Euphrates, hi ddaeth trwy Apamia a Damascus i Judea. Ac yno Herod a lonyddodd ei digter trwy anrhegion helaeth. Efe hefyd a gyttunodd â hi am y mannau hynny a rwygasid oddi wrth ei deyrnas, am yr ardreth flynyddol o ddwy fil o dalentau. Daeth gyd â hi hefyd cyn belled a Pelusium, ac a ddangosodd yr holl barch iddi ag oedd bossibl. Yn awr nid hir y bu yn ol hyn nes i Antony ddyfod yn ol o Parthia; ac a arweiniodd gyd ag ef Aratbazes, mab Tigranes, yn gaeth-was, megis anrheg i Cleopatra: canys y Parthiad hwn a roddwyd iddi hi, ynghyd â'i arian, a'r holl ysglyfaeth a gymmerwyd gyd ag ef.*

## PENNOD XIX.

*Herod, wrth annogaeth Cleopatra, yn cael ei ddanfon i ymladd yn erbyn yr Arabiaid; ac ar ol amryw frwydrau, y mae o'r diwedd yn cael buddugoliaeth: hefyd ymherthynas i fawr ddaear-gryn.*

PAN ddechreuodd y rhyfel † ynghylch Actium, Herod a ymbarottodd i ddyfod yn gynnorthwy i Antony, megis wedi ei ryddhau eisoes oddiwrth y blinderau yn Judea; ac ynnill o hono Hyrcania, yr hwn oedd le a feddiannid gan chwaer Antigonus. Pa fodd bynnag efe a rwystrwyd yn gyfrwys-gall rhag cyfrannogi o'r peryglon yr aeth Antony trwyddynt ar gyfrif Cleopatra. Canys wedi darfod iddi, megis y sylwiasom eisoes, osod bradwriaeth yn erbyn ‡ brenhinoedd Judea ac Arabia; hi berswadiodd Antony i orchymmyn y rhyfel yn erbyn yr Arabiaid i Herod: ac felly, os byddai iddo gael y trechaf, y gallai hi ddyfod yn arglwyddes Arabia; neu, os cai efe y gwaethaf, o Judea: ac fel y gallai hi ddifetha y naill frenin yma trwy'r llall.

Y ddyfais hon, pa fodd bynnag, a ddigwyddodd er derchafiad i Herod. Canys ar yr ymosodiad cyntaf, fe gymmerodd rai yn wystlon oddiwrth y gelyn, ac a gafodd ynghyd gorph mawr o wŷr meirch, ac a orchymmynodd iddynt fyned yn eu herbyn hwy ynghylch Diospolis; ac efe a gongcrodd y fyddin honno, er iddynt ymladd yn ei erbyn. Ar ol colli'r frwydr hon, yr ydoedd yr Arabiaid mewn cythrwfl mawr, ac a ymgynnullasant eu hunain ynghyd yn Canatha, dinas o Cœlesyria, yn lliaws mawr, gan ddisgwyl am yr Iuddewon. A phan ddaeth Herod yno, fe ymdrechodd i drefnu y rhyfel hwn gyd â'r pwyll mwyaf: etto ni ddarfu'r lliaws gydsynio â'r cyfarwyddiadau hyn; ond hwy a ymhyfasant trwy eu buddugoliaeth flaenorol, fel y darfu iddynt yn ebrwydd syrthio ar yr Arabiaid, a'u curo ar yr ergyd cyntaf, ac yna eu herlid hwynt. Etto'r oedd maglau wedi eu gosod i Herod yn yr erledigaeth honno; pan oedd Athenio, yr hwn oedd un o flaenoriaid llu Cleopatra, a phob amser yn wrthwynebwr Herod, wedi danfon allan o Canatha, wŷr y wlad honno yn ei erbyn. Canys ar y tarawiad cyntaf hwn yr Arabiaid a gefnogasant, ac a ddychwelasant yn ol; a hwy a ymgyssylltasant â'u gilydd eu byddinoedd lliosog mewn lleoedd caregog, ag oedd yn anhawdd myned ymlaen trostynt; ac yno y dodasant wŷr Herod i ffoi, ac a wnaethant laddfa fawr o honynt. Ond y rhai a ddiangasant o'r frwydr a ffoisant i Ormiza; ym mha le y darfu i'r Arabiaid amgylchu'r gwersyll, a'i gymmeryd, ynghyd â'r holl ddynion oedd ynddo.

Ym mhen ychydig amser ar ol hyn, Herod a ddaeth i ymofyn cynnorthwy iddynt, ond ei ddyfodiad oedd yn rhy ddiweddar. Yn awr yr achos o'u haflwyddiant ydoedd, am na ddarfu i'r blaenoriaid ddilyn y rheol a roddasid iddynt: canys pe na buasai i'r frwydr ddechrau mor fuan, ni chawsai Athenio amser cyflens i barottoi'r maglau a osododd i Herod. Pa fodd bynnag fe ddaeth i ymweled â'r Arabiaid drachefn, a'r tro hwn fe oresgynnodd eu gwlad; gan wneuthur mwy o niweid iddynt, nag a allasai unigol fuddugoliaeth ganddynt hwy ei adferyd. Ond fel yr oedd yn dial ei hun ar ei elynion, daeth arno drallod rhaglunniaethol arall. Canys yn y § seithfed flwyddyn o'i deyrnasiad, pan oedd y rhyfel ynghylch Actium yn y man

* Hynaf. XV. 4. † Rhwng Antony ac Octavius. ‡ Pen. 18.

§ Y seithfed flwyddyn hon o deyrnasiad Herod, wedi gorchfygiad neu farwolaeth Antigónus, gyd â'r daeargryn mawr yn nechrau yr un gwanwyn, yr hyn a arwyddir yma nad ydoedd bell cyn dechrau'r ymladdfa yn Actium, rhwng Octavius ac Antony; a'r hyn a wybyddir, oddiwrth haneswyr Rhufeinig, ei ddechrau ym mis Medi, yn yr 31 mlwydd cyn y cyfrif Cristionogol; yr hyn oll sy'n cadarnhau amseryddiaeth Josephus ymherthynas i deyrnasiad Herod: sef, ddarfod iddo ddechrau yn y flwyddyn 37, tu hwnt i bob amheuaeth. Ac nid yw'n llwyr annheilwng o'n sulw, fod y seithfed flwyddyn hon o deyrnasiad

uwchaf; ar ddechrau'r gwanwyn y ddaear a grynodd, ac a ddifethodd rifedi aneirif o anifeiliaid, gyd â deng mil ar hugain o ddynion: ond ni chafodd y fyddin ddim niweid, o herwydd ei bod yn gorwedd ar y maes. Yn y cyfamser y sôn am y ddaear-gryn hynod yma, a barodd i'r Arabiaid ymdderchafu, a chefnogi yn fawr; gan osod allan y trychineb yn fwy nag ydoedd, fel y mae'n arferol o ddigwydd ar ddamweiniau echrydus, a chasglu yn eu meddyliau fod Judea wedi ei llwyr ddadymchwelyd. Ar y tyb hwn, gan hyny, y gallent yn hawdd gael tir heb ddim trigolion tan eu hawdurdod, hwy'n gyntaf a aberthasant y cennadwyr a ddaethai attynt oddiwrth yr Iuddewon; ac yna cychwynasant gyd â'u byddinoedd tu a Judea yn uniongyrch. Yn awr, y genedl Iuddewig a arswydwyd wrth yr ymgyrch hwn, ac a wanychwyd yn fawr wrth faintioli eu trallodion, y naill ar ol y llall: ond Herod wedi eu cael ynghyd, a ymdrechodd i'w cefnogi i amddiffyn eu hunain, wrth yr araith ganlynol:

"Y dychryn presennol yr ydych tano a ymddengys i mi ei fod wedi eich meddiannu yn dra afresymmol. Y mae'n wir chwi allech yn gyfiawn ddigalonni wrth y cerydd rhagluniaethol a'ch goresgynnodd chwi: ond i oddef eich hunain i gymmeryd eich dychrynu gan ymosodiad oddiwrth elynion sydd yn anwroldeb. Ymherthynas i'm fy hun, yr wyf mor bell oddiwrth ddychrynu o herwydd ein gelynion, ar ol y ddaear-gryn hon, fel ag y tybiaf fod Duw trwy hynny wedi dodi magl i'r Arabiaid, fel y dialer ni arnynt. Canys eu disgynniad presennol ar ein gwlad sydd yn tarddu yn fwy oddiwrth ein damweiniol anhap, nac oddiwrth yr hyder sydd ganddynt ar eu harfau, neu eu parodrwydd eu hunain i ryfel. Yn awr y gobaith hwnnw ag sy'n ymddibynnu, nid ar addasrwydd dynion eu hunain, ond ar aflwyddiant eraill, sydd beth tra ansicr. Canys nid oes un peth sicr ym mhlith dynion mewn amgylchiad drwg neu dda. Ond gallwn yn hawdd sylwi, fod damwain yn gyfnewidiol, ac yn myned o'r naill ochr i'r llall. A hyn a ellwch yn hawdd ei ddysgu oddiwrth siamplau yn eich plith eich hunain. Canys pan oeddych unwaith yn fuddugoliaethwyr yn yr ymladdfa o'r blaen, eich gelynion yn y diwedd a'ch gorchfygasant chwi. Ac y mae'n dra thebygol y digwydd yn y fath fodd yn awr, ag y bydd i'r rhai a feddyliant eu hunain yn sicr o'ch curo chwi, gael eu curo gennych. Canys pan y mae dynion yn rhy hyderus, nid ydynt gymmaint ar eu gwyliadwriaeth; tra mae ofn yn dysgu i ddynion weithredu gyd â gocheliad; yn gymmaint ag yr anturiaf brofi oddiwrth eich cryndod presennol y dylech ymgefnogi. Canys pan oeddych yn fwy ëon nag y dylasech fod, ac nag y dymunaswn i chwi fod hefyd, gan ruthro yn fyrbwyll yn eich blaen, yna bradwriaeth Athenio a gymmerodd le. Ond eich hwyrfrydigrwydd presennol, a'ch ymddangosiadol ddigalondid, sydd, yn fy nghyfrif i, yn wystl ac yn arwydd sicr o'n buddugoliaeth. Ac yn wir y mae'n gymmwys o'r blaen fod wedi ymbarottoi y modd hwn. Ond pan ddelom i frwydr dylem ymgodi yn ein meddyliau, a gwneud i'n gelynion, byddent mor amled ag y mynnont, i gredu, na ddichon dim cadernid dynol, neu ddigwyddiad croesragluniaethol, fyth leihau calondid Iuddewon, tra maent yn fyw. Ac ni fydd i neb o honynt hwy edrych heibio i Arabiad, neu oddef i'r cyfryw un ddyfod yn arglwydd ei bethau daionus; yr hwn mewn ystyr a gymmerodd yn gaethwas, a hynny lawer o weithiau hefyd. Ac onid y'ch yn terfysgu eich meddyliau ynghylch ysgydwad rhannau difywyd o'r greadigaeth; heb ddychymmygu fod y ddaear-gryn hon yn arwydd o drallod arall. Canys y fath gynnwrf yn yr elfennau a ddigwydd yn ol trefn natur; ac nid yw yn arwyddo un peth ymhellach i ddynion, na'r niweid y mae'n ei wneuthur yn uniongyrch o honi ei hun. Ysgatfydd y dichon rhyw arwydd byr gael ei roddi ymlaen llaw o heintiau, newyn, a daeargryndäau: ond y trallodion hyn sydd â'u grymmusder yn cael ei derfynu iddynt eu hun. Ac yn wir pa faint mwy o niweid a ddichon y rhyfel, er y gall fod yn un tra chwyrn, ei wneuthur i ni. Ië, mae arwydd o ddinystr ein gelynion eisoes yn weledig; a hwnnw nid yn un naturiol, yn dyfod o ddwylaw dieithriaid; ond hyn ydyw, am ladd o honynt ein cenhadwyr mewn modd barbaraidd, yn groes i gyfreithiau dynolryw; a hwy a ddinystriasant gynnifer eraill a phe buasent yn eu cyfrif yn aberthau i

Herod, neu'r 31 mlynedd cyn y cyfrif Cristionogol, yn gynnwysedig o'r rhan olaf o'r flwyddyn sabbothol, ym mha un y digwyddodd y ddaeargryn mawr yma yn Judea.

Dduw, mewn perthynas i'r rhyfel hwn. Ond ni allant ochelyd ei lygad holl-weledig ef, na'i anorchfygol law. A nyni a ddialwn arnynt yn ebrwydd, os ydym yn meddiannu etto beth o gefnogrwydd ein tadau; ac a gyfodwn i fynu yn hŷ i gospi y torrwyr cyfammod hyn. Eled pob un gan hynny ym mlaen i ymladd, nid cyn gymmaint tros ei wraig a'i blant, a'r perygl y mae ein gwlad ynddo, ag ar gyfrif y cenhadwyr hynny o'r eiddom. Y cenhadon hyn wedi eu marw a drefna y rhyfel yn well na nyni y rhai sydd yn fyw. Ac os arweinir chwi gennyf fi, myfi fy hun a âf o'ch blaen i'r perygl. Canys chwi wyddoch yn dda ddigon fod eich cefnogrwydd yn anorchfygol, oddieithr i chwi niweidio eich hun trwy weithredu mewn byrbwylldra." *

Wedi i Herod eu cefnogi trwy'r araith hon, a gweled o hono gyd â pha fywiogrwydd yr oeddynt yn myned i ryfel, efe a offrymmodd aberth i Dduw; ac wedi'r aberth hwnnw fe aeth tros afon yr Iorddonen gyd â'i fyddin, ac a wersyllodd ynghylch Philadelphia, yn gyfagos i'r gelyn, a cherllaw amddiffynfa ag oedd yn gorwedd rhyngddynt. Yna fe saethodd attynt o bell, gan ewyllysio dyfod i ymladdfa. Canys rhai o honynt ym mlaenllaw a ddanfonasid i oresgyn yr amddiffynfeydd. Ond y brenin a ddanfonodd rai yn ebrwydd a'u curodd hwy ymaith; pan aeth efe ei hunain y tu blaen i'r fyddin, yr hon a osododd mewn trefn i ymladd yn feunyddiol, gan gymmell yr Arabiaid i ymladd. Ond fel nad oedd neb o honynt wedi dyfod allan o'u gwerssyll (canys yr oeddynt tan ddychryn ofnadwy, a'u cadflaenor Elthemus nid oedd yn gallu dywedyd gair gan ofn,) Herod a ddaeth ar eu gwarthaf hwynt, ac a dynnodd eu lleoedd cedyrn yn ddrylliau, trwy ba foddion y gwnaethpwyd iddynt ddyfod allan, yr hyn a wnaethant mewn annhrefn, fel ag yr oedd y gwŷr meirch, a'r gwŷr traed yn gymmysgedig â'u gilydd. Yr oeddynt yn wir yn rhagori mewn rhifedi ar yr Iuddewon, ond islaw iddynt mewn bywiogrwydd; er eu bod yn gorfod gosod eu hunain yn agored i berygl trwy eu hanobaith am fuddugoliaeth.

Yn awr tra safasant i wneuthur gwrthwynebiad, nid oedd ganddynt nifer mawr wedi eu lladd: ond cyn gynted ag y troisant eu cefnau, llawer o honynt a sathrwyd yn feirw gan yr Iuddewon, a llawer ganddynt eu hunain, ac felly a ddifethwyd; nes oedd pum mil wedi syrthio i lawr yn feirw yn eu ffoedigaeth; tra'r oedd gweddill y lliaws wedi rhagflaenu eu dinystr trwy bentyrru i'r amddiffynfeydd. Herod a amgylchodd y rhai hyn trwy warchae arnynt. A thra'r oeddynt yn barod i gael eu cymmeryd gan eu gelynion mewn arfau, yr oedd cyfyngder arall yn gwasgu arnynt, yr hyn oedd diffyg o ddwfr. Canys y brenin ydoedd uwchlaw gwrando ar eu cenhadwyr: a phan gynnygiasant bum cant o dalentau megis gwerth eu prynedigaeth, fe bwysodd yn drymmach fyth arnynt. Ac fel yr oeddynt yn cael eu difetha gan eu syched, hwy a ddaethant allan, ac o'u bodd a roddasant eu hunain i fynu yn lluoedd i'r Iuddewon: nes mewn pum niwrnod o amser i bedair mil o honynt gael eu dodi mewn rhwymau: ac ar y chweched dydd y lliaws a weddilliwyd, gan anobeithio achub eu hunain, a ddaethant allan i ymladd; ond Herod a'u gorchfygodd hwynt, ac a laddodd drachefn ynghylch saith mil. Yn gymmaint ag y cospodd Arabia mor llym, nes y diffoddwyd yspryd y bobl; ac y parodd iddynt wneuthur dewisiad o hono ef yn rheolwr y genhedlaeth.

## PENNOD XX.

*Herod yn cael ei gadarnhau yn ei deyrnas gan Cæsar, ac yn ynnill cyfeillach ag ef trwy anrhegion godidog, tra mae'r ymerawdr yn dychwelyd ei garedigrwydd, trwy adferyd iddo y rhan hynny o'i deyrnas a gymmerasid oddiwrtho gan Cleopatra; gyd â chwanegiad o wlad Zenodorus.*

YN awr, Herod ydoedd tan fawr ofal ymherthynas i achos pwysig, ar gyfrif ei gyfeillgarwch ag Antony; yr hwn eisoes a † orchfygasid yn Actium gan Cæsar. Etto efe a ofnodd yn fwy nag y niweidiwyd ef. Canys Cæsar ni feddyliodd ddadwneud Antony, tra'r oedd Herod yn parhau yn gynnorthwy iddo. Pa fodd bynnag y brenin a ymroddodd i osod ei hun yn

* Yr araith yma o eiddo Herod a osodir i lawr ddwywaith gan Josephus; sef yn y lle hwn, ac yn yr Hynafiaethau i'r un pwrpas, ond nid mewn un modd yn yr un geiriau. Oddiwrth yr hyn yr ymddengys fod yr ystyr yn eiddo Herod, ond y cyfansoddiad yn eiddo Josephus.

† Medi 2fed. C. C. 31.

agored i berygl. Yn ganlynol fe fordwyodd i Rhodes, lle'r oedd arosfa Cæsar yr amser hwnnw: ac a ddaeth atto heb ei goron-bleth, ac mewn gwisg ac ymddangosiad dyn neillduedig; ond yn ei ymddygiad fel brenin. Felly ni chuddiodd ddim o'r gwir, ond a lefarodd fel hyn o flaen ei wyneb:—

"O Cæsar, fe'm gwnaethpwyd yn frenin yr Iuddewon gan Antony, felly'r wyf yn proffesu ddarfod i mi arferyd fy awdurdod yn y modd goreu, ac yn hollol er ei fantais ef. Ac ni chuddiaf hyn ymhellach, y cawsit fi yn sicr tan arfau, ac yn gydymaith anwahanol iddo ef, pe na rwystrasid fi gan yr Arabiaid. Pa fodd bynnag danfonais iddo gynnifer o gynnorthwyadon ag a allwn, ac amryw fil cori o ŷd. Ië yn wir ni adewais fy nghymmwynaswr, ar ol yr ergyd a gafodd yn Actium. Ond mi roddais iddo y cyngor goreu a fedrwn, pan nad oeddwn ddim hwy yn alluog i'w gynnorthwyo mewn rhyfel: ac mi a ddywedais nad oedd ond un ffordd iddo i adferyd ei achosion, a hynny trwy ladd Cleopatra: ac mi addewais iddo wedi ei marw hi, y rhoddwn iddo arian a muriau er ei ddiogelwch; gyd â byddin, a mi fy hun yn gynnorthwy yn ei ryfel i'th erbyn di. Ond ei serchowgrwydd at Cleopatra a attaliodd ei wrandawiad, megis y gwnaeth Duw ei hun hefyd, yr hwn a rannodd y llywodraeth i ti. Yr wyf yn cydnabod fy hun wedi'm gorchfygu ynghyd ag ef; a chyd â'i ddigwyddiad diweddaf mi roddais heibio fy nghoron: ac yr wyf yn dyfod attat ti, tan obeithio am ddiogelwch trwy dy rinwedd: ac mi ddeisyfaf arnat yn gyntaf ystyried, pa fath gyfaill ffyddlon a fum, ond nid i bwy."

I'r areithiad hwn Cæsar a attebodd:—"Ti gei fod nid yn unig mewn diogelwch, ond yn frenin hefyd, a hynny gyd â mwy o sicrwydd nag o'r blaen: canys yr wyt yn gymmwys i deyrnasu ar lawer o ddeiliaid ar gyfrif purdeb dy gyfeillgarwch. A bydded i ti ymdrechu bod yn gydradd barhaus yn dy ffyddlondeb i mi ar fy llwyddiant presennol, yr hyn yr wyf yn hyderu arno oddiwrth haelioni dy ymddygiad. Pa fodd bynnag, Antony a wnaeth yn dda ddewis Cleopatra o'th flaen di; canys trwy'r moddion hynny nyni a'th ynnillasom di o herwydd ei gwallgofrwydd. Ac fel hyn y dechreuaist fod i mi yn gyfaill, cyn dechreu o honof fod yn eiddot ti. Ar ba gyfrif Quintus Didius a ysgrifennodd attaf fi, ddarfod i ti ddanfon cynnorthwy iddo yn erbyn y cleddyfwyr. Myfi gan hynny wyf yn sicrhau y cadarnhaf y deyrnas i ti trwy ddeddf neu orchymmyn. Bydd i mi hefyd ymdrechu dangos rhyw garedigrwydd pellach i ti yn ol hyn, fel na theimlech ddim colled yn y diffyg o Antony."

Wedi i Cæsar ddywedyd y fath ymadroddion caredig wrth y brenin, a dodi y goron-bleth drachefn ynghylch ei ben, efe a gyhoeddodd yr hyn a ordeiniodd iddo trwy orchymmyn; ym mha un yr ymhelaethodd ar gymmeradwyad y dyn mewn modd tra godidog. A'r hyn a'i rhwymodd i fod yn garedig iddo trwy'r anrhegion mawrwych a osododd ger ei fron: ac fe ddeisyfodd arno faddeu i Alexander, un o gyfeillion Antony, yr hwn a erfyniasai arno ef i eiriol trosto. Ond digter Cæsar tu ag atto ef a orfyddodd; ac efe a achwynodd ar amryw droseddiadau'r dyn yr oedd efe yn deisyf trosto yn euog o honynt; ac o herwydd hynny yr oedd yn gwrthod caniattau ei ddymuniad. Ar ol hyn Cæsar a aeth i'r Aipht, trwy Syria, pan dderbyniwyd ef gan Herod yn roesawus i lettŷau ardderchog a brenhinol: ac yna y darfu gyntaf oll gyd-farchogaeth â Cæsar, fel yr oedd yn bwrw golwg tros ei fyddin ynghylch Ptolemais, ac a'i gwleddodd ef gyd â'i holl gyfeillion; ac yna a ddosparthodd rhwng gweddill y fyddin yr hyn oedd angenrheidiol i'w gwledda arno. Efe hefyd a barottodd ddwfr yn ddigonol iddynt, pan oeddynt i deithio cyn belled a Pelusium trwy wledydd sychion; yr hyn a wnaeth yr un modd yn eu dychweliad. Ac nid oedd dim angenrheidiau yn eisiau ar y fyddin honno. Barnodd Cæsar a'i filwyr gan hynny, fod teyrnas Herod yn rhy fechan am yr anrhegion haelionus a wnaethai iddynt. Ar ba reswm pan ddaeth Cæsar i'r Aipht, wedi marw Cleopatra ac Antony; efe nid yn unig a osododd arwyddion o anrhydedd arall arno, ond a wnaeth chwanegiad at ei deyrnas, trwy rannu iddo nid yn unig y wlad a gymmerasid oddiarno gan Cleopatra; ond heblaw hynny Gadara, Hippos, a

† Yr attebiad hwn o'r eiddo Augustus, a gadarnheir yn gryf gan Plutarch, Appian, a Dio; y rhai a gydgynnorthwyant ac a ddiwygiant eu gilydd; ond y rhai pe amgen, a fuasent anhawdd eu gwneuthur allan, fel y mae Aldrich a Spanheim yn sylwi ar y lle hwn.

Samaria: ac o'r dinasoedd arforawl, Gaza, Anthedon, Joppa, a Thŵr Strato: efe hefyd a wnaeth anrheg iddo o bedwar cant o Galatiaid, megis gwarchawdlu i'w gorph, yr hyn a fuasent i Cleopatra o'r blaen. Ac ni thueddodd dim Cæsar yn fwy i wneud yr anrhegion hyn, na haelioni y sawl a'u derbyniai hwynt.

Ymhellach, wedi myned trosodd y prif-gampau * cyntaf yn Actium, chwanegodd at ei deyrnas ardaloedd Trachonitis, a'r hyn a orweddai yn eu cymmydogaeth. Batanea, a gwlad Auranitis, a hynny ar yr achlysuron canlynol. Zenodorus yr hwn a gymmerasai dŷ Lysanias, ydoedd o hyd wedi danfon allan yspeilwyr i blith y Damasciaid: y rhai ar hynny a wnaethant eu cwyn at Varro, rhaglaw Syria, gan ddymuned arno ef wneud eu blinderau yn hyspys i Cæsar. Wedi i Cæsar wybod am hyn, fe ddanfonodd orchymmyn yn ol, ar fod i'r nyth hwnnw o eiddo'r yspeilwyr gael ei ddifetha. Varro gan hynny a wnaeth ymgyrch yn eu herbyn, ac a glirodd y tir o'r dynion hyn, gan ei gymmeryd ymaith oddiwrth Zenodorus. Cæsar hefyd ar ol hynny a'i rhoddodd i Herod, fel na fyddai i'r lle ddyfod drachefn yn dderbynfa'r lladron a ddaethai yn erbyn y Damasciaid. Gwnaeth ef hefyd yn oruchwyliwr holl Syria: a hyn ar y ddegfed flwyddyn ar ol hynny, pan ddaeth efe drachefn i'r dalaith honno: a hynny a gadarnhawyd yn y fath fodd, fel na's gallai y gorchuchwylwyr eraill weithredu un peth ymherthynas i'r llywodraeth heb ymgynghori ag ef. Ond wedi marw Zenodorus, Cæsar a rannodd iddo ef yr holl dir hwnnw ag oedd yn gorwedd rhwng Trachonitis a Galilea. Etto'r hyn oedd fyth o fwy canlyniad i Herod, yr ydoedd yn cael ei garu gan Cæsar yn nesaf i Agrippa, a chan Agrippa yn nesaf ar ol Cæsar; oddiwrth hyn y cyrhaeddodd i radd fawr o ddedwyddyd; etto'r oedd mawredd ei enaid yn rhagori arno: a'r rhan bennaf o'i fawrfrydigrwydd oedd yn cael ei estyn at beri dyrchafiad i dduwioldeb.

## PENNOD XXI.

*Am y deml, dinasoedd, ac adeiladau eraill a wnaethpwyd gan Herod; y mawrhydi a ddangosodd i ddieithriaid, a'i lwyddiant yn gyffredinol.*

YN y bymthegfed flwyddyn o'i deyrnasiad Herod a ail adeiladodd y deml, ac a chwanegodd ddarn o dir o'i hamgylch, gan ei gwmpasu â mur: pa dir ydoedd cyn helaethed drachefn a'r hyn oedd o'r blaen. Y costau a osododd allan arni oedd dra dirfawr, a'r gwychder o'i hamgylch yn annhraethol. Yn arwydd o hyn yr ydoedd yr ystefylldai mawrion a wnaethpwyd o amgylch y deml, a'r tŵr yr hwn ydoedd ar ei thu gogleddol. Yr ystefyll-dai a adeiladodd o'u sylfaen: ond y tŵr a adnewyddodd ar gostau ehang. Ac nid ydoedd amgen na phalas brenhinol, yr hwn a alwodd efe Antonia er anrhydedd i Antony. Efe hefyd a adeiladodd iddo ei hun balas yn y ddinas uchaf, yn cynnwys dwy o ystafelloedd tra ehang a hardd-wych; i ba rai ni ellid cymharu y tŷ cyssegredig ei hun mewn ehangder. Un o'r ystafelloedd a alwodd Cæsareum, a'r llall Agrippium: oddi wrth ei ddau gyfaill pennaf.

Etto ni osododd goffadwriaeth o honynt trwy adeiladau yn unig, wedi dodi eu henwau arnynt; ond ei haelioni a aeth mor bell a gwneuthur dinasoedd cyfain. Canys wedi iddo wneuthur mûr cadarn o amgylch tir yn Samaria, yr hwn oedd ugain ystâd o hyd, a dwyn yno chwe mil o drigolion i breswylio o'i fewn, yr hwn oedd dra ffrwythlon: ynghanol y ddinas a adeiladodd yno, fe wnaeth deml ehang i Cæsar; gan chwanegu atti dir cyssegredig, yn dri a hanner ystadau o hyd. Galwodd y ddinas hon † Sebaste; a sefydlodd yr achosion perthynol iddi yn y modd mwyaf trefnus a rheolaidd.

Ac wedi i Cæsar ymhellach rannu iddo wlad chwanegol arall, fe adeiladodd iddo deml yno hefyd o feini mynor gwynion, yn agos i ffynhonnau 'r Iorddonen. Y lle a elwir Panium; lle mae mynydd a'i frig yn cyrraedd i uwchder annychymmygol; â'r naill ochr iddo is-law, neu yn ei waelod, y mae ogof dywyll yn ymagor; o fewn pa un y mae goriwared arswydus, a disgynfa uniounsyth i ddyfnder anadnabyddus, yr hwn a gynnwys ddwfr tu hwnt i fesur, a hwn-

* Wedi digwydd y frwydr yn Actium, fel y gwelsom, yn nechrau mis Medi, C. C. 31 o flynyddau: a dyfod Cæsar y waith gyntaf yn y flwyddyn ganlynol i Syria, C. C. 30. a thrachefn ym mhen y deg mlynedd ar ol hynny, C. C. 20, fel yr hyspysa Josephus yn fuan, yr hyn yn gymmwys ydoedd ddiwedd yr 17 o lywodraethiad Herod, neu ddechrau y 18, Hynaf. XV. 10. rhaid ydoedd i deyrnasiad Herod fod wedi dechrau C. C. 27 mlynedd, megis y penderfynwyd eisoes.

† Oddiwrth Sebastus, neu Augustus.

uw yn ansymmudol: a phan ollyngo neb i lawr linyn i fesur dyfnder y lle, ni ellir cyrraedd ag ef ei waelod. Yn awr, ffynhonnau'r Iorddonen sy'n cyfodi o wraidd y ceudwll hwn o'r tu allan: ac, fel y meddylia rhai, dyma eithaf dechreuad yr Iorddonen. Ond ni a lefarwn am y matter hwn yn gyflawnach yn ein hanesion * canlynol.

Ond y brenin a adeiladodd leoedd eraill hefyd yn Jericho; rhwng y tŵr Cypros, a'r palas brenhinol gynt; yr hwn oedd yn well ac yn fwy defnyddiol na'r cyntaf i drafaelwyr; gan ddodi arnynt enw yr un cyfeillion a'r lleill. Yn fyrr, nid oedd un cwrr o'i deyrnas, pa un a gyfrifid yn gyfleus i hynny, yn cael ei adael heb ryw arwydd ynddo o anrhydedd i Cæsar: ac wedi llenwi ei wlad ei hun â themlau, efe a dywalltodd allan y cyffelyb nodau o barch i'w dalaith; gan adeiladu amryw ddinasoedd y rhai a alwodd Cæsareaid.

A phan ddaliodd sulw ar ddinas y'nglàn y môr, a elwid Tŵr Strato, yr hon oedd wedi adfeilio yn fawr; ond trwy ddymunoldeb ei sefyllfa, yr ydoedd yn addas i adnewyddiad: ac efe a'i hail-adeiladodd â meini gwynion, ac a'i haddurnodd ag amryw balasau teg ac ardderchog: yn y lle hwn yn enwedigol efe a amlygodd ei fawrfrydigrwydd. Canys yr amgylchiad ydoedd, fod holl làn y môr, rhwng Dora a Joppa, yn y canol rhwng pa rai y mae sefyllfa'r ddinas hon, heb un porthladd cyflens yn agos: yn gymmaint a bod pob un a fordwyai o Phœnicia i'r Aipht yn gorfod aros yn y mor tymhestlog, o achos y deheuwynt fyddai yn eu bygwth; yr hwn wynt os chwyth yn nerthol, y fath donnau mawr a gyfodant, ac a gurant yn erbyn y creigiau, fel ar eu hencil, y mae'r mor tros hir lwybr mewn cynnwrf mawr. Ond y brenin trwy'r costau a gymmerodd, a'r dosparthiad haelionus o honynt, a orchfygodd drefniadau natur, ac a wnaeth borthladd ehangach nag ydoedd y † Pyræum yn Athen. Ac ar enciliad y dyfroedd fe wnaeth sefyllfaoedd dyfnion eraill i'r llongau.

Yn awr, er fod y lle ag y gwnaeth adeiladaeth ynddo yn fawr yn wrthwyneb i'w ddymuniad; etto efe mor llwyr a ymdrechodd â'r anhawsdra hwnnw, fel na allai cadernid y gwaith gael ei orchfygu yn hawdd gan y môr: a harddwch y gwaith ydoedd y fath, fel pe na buasai ddim anhawstra iddo yn ei gyflawniad. Canys wedi iddo fesur allan gyfwng mawr, fel y crybwyllasom o'r blaen, efe a ollyngodd gerrig i lawr i ugain gwrhyd o ddwfr; y rhan fwyaf o ba rai oeddynt ddeg a deugain troedfedd o hyd, naw troedfedd o drwch, a deg o led; a rhai etto yn fwy. Ond wedi i'r hafn gael ei lenwi i fynu i'r dyfnder hwnnw, efe a a helaethodd y mur ag oedd y modd hwn eisoes uwchlaw'r môr, hyd onid oedd yn ddau can troedfedd o led: un can troedfedd o hono oedd ag iddo waith o'i flaen, mewn trefn i dorri grym y tonnau: oddiwrth yr hyn y cafodd ei alw Procumatia, neu dorrwr cyntaf y tonnau: ond y rhan arall o'r cyfwng oedd tan fûr cerrig a redai o'i amgylch. Ar y mur hwn yr oedd tŷrau mawrion; y pennaf a'r harddaf o ba rai a elwid Drusium, oddiwrth Drusus, yr hwn oedd fab ynghyfraith Cæsar.

Yr ydoedd hefyd amryw fwäau meini, lle'r arosai y morwyr: a'r holl le o'u blaen, ac o amgylch, ydoedd bant teg, neu rodfa, a llongborth i'r rhai a ddeuent i'r làn. Ond y mynediad i mewn ydoedd o du'r gogledd; oblegid mai'r gogleddwynt yno oedd yr esmwythaf o'r holl wyntoedd. Ar enau yr hafn bob ochr yr oedd tri o luniau mawrion, a gynhelid gan golofnau: a'r llun neu'r ddelw ar y llaw asswy fel yr ydis yn mordwyo i'r porthladd a gynhelir gan dŵr maen: ond y rhai ar y deheulaw a gynhelir gan ddau o feini unionsyth, wedi eu cydgyssylltu; pa ryw feni ydoedd fwy o faintioli na'r tŵr ag oedd y tu arall i'r fynedfa i mewn. Yn awr yr oedd adeiladau cysson wedi eu cyssylltu â'r porthladd, y rhai a wnaed hefyd o feini gwynion; ac i'r hafn yma yr oedd heolydd culion y ddinas yn arwain, ac a adeiladwyd mewn cydradd bellder y naill oddiwrth y llall. Ac gyferbyn â'r mynedfa i mewn i'r hafn, ar uchder tir, yr ydoedd teml i Cæsar, yr hon oedd ragorol mewn harddwch ac ehangder, ac ynddi yr oedd delw Cæsar, heb fod yn llai na'r un berthynol i Jupiter Olympius, i ba un y gwnaethid hi i debygoli. Y llun neu ddelw arall yn

* Gwel Llyfr III. pen. 10.

† Fod Josephus yn dywedyd y gwir, pan y mae yn sicrhau i ni am y porthladd yn Cesarea, a wnaethpwyd gan Herod, nad ydoedd lai, ond yn hytrach yn fwy, na'r porthladd clodfawr yn Athen, a elwid Pyraeum, a ymddengys yn amlwg, medd y Deon Aldrich, i'r hwn a gydmara ddesgrifiad yr un hynny yn Athen, yn Thucydides a Pausanias, â'r un yn Cesarea, yn Josephus yma, ac yn yr Hynaf, XV. 9. a'r XVII. 9.

Rhufain, sydd gyd-radd â delw Juno yn Argos. Felly fe gyssegrodd y ddinas i'r dalaith; a'r porthladd i'r morwyr perthynol iddo. Ond godidowgrwydd yr adeilad a anrhegodd i *Cæsar; ac yn ganlynol fe alwodd y lle Cæsarea.

Efe hefyd a wnaeth adeiladau eraill, megis y chwareudy, a'r farchnadfa, mewn modd cyfattebol i'w henwau: ac efe a ordeiniodd chwareugamp gyffredinol i gael ei chynnal yno bob pum mlynedd, gan ei galw yr un modd, chwareugamp Cæsar: ac efe ei hun yn gyntaf a gynhygiodd gamp-dlysau mawrion, ar y ganfed a deuddeg a phedwar ugain Olympiad. Yn y rhai nid yn unig yr ennillwyr, ond y rhai nesaf attynt, a'r trydydd rai hefyd a gaent gyfrannogi o'i frenhinol haelioni. Efe hefyd a ail-adeiladodd Anthedon, dinas oedd yn gorwedd yn y cyffiniau, ac a ddifrodwyd yn y rhyfeloedd, ac a'i galwodd hi Agrippeum. Ymhellach yr oedd ganddo'r fath barch i'w gyfaill Agrippa, ag y mynnodd argraphu ei enw ar y porth a adeiladasai ei hun yn y deml. †

Herod ydoedd hefyd yn mawr garu ei dad, os bu neb arall felly. Canys efe a wnaeth gof-arwydd o'i dad; sef y ddinas a adeiladodd yn y gwastadedd teccaf o'r deyrnas, gyd ag afon, a choed lawer o'i hamgylch, ac a'i galwodd hi Antipatris. Gwnaeth hefyd fur o amgylch castell, neu dŵr uwchlaw Jericho, ag ydoedd o waith teg a chadarn, pa un a gyssegrodd i'w fam, ac a'i galwodd ar ei henw hi, Cypros. Ymhellach efe a gyssegrodd dŵr oedd yn Jerusalem, ac a'i galwodd ar enw ei frawd Phasaelus; adeiladaeth, maintioli, a gwychder pa un a ddescrifiwn yn ol hyn. Gwnaeth hefyd ddinas arall hefyd yn y gwastadedd, yr hwn sy'n arwain tu a'r gogledd oddiwrth Jericho, ac a'i galwodd Phasaelus.

Ac fel y trosglwyddodd i'w hiliogaeth foddion ei deulu a'i gyfeillion, felly ni esgeulusodd goffadwriaeth o hono ei hun, ond fe adeiladodd amddiffynfa ar fynydd tu ag Arabia, ac a'i henwodd oddiwrth ei enw ei hun ‡ Herodium. Ac fe alwodd y mynydd neu'r bryn hwnnw ag oedd ar lûn bron merch, pa un oedd drugain 'stâd o belldra o Jerusalem, wrth yr un enw. Gosododd hefyd lawer o gywreinwaith celfyddyd arno, ac a wnaeth dŷrau crynion o amgylch ei holl nèn; gan lenwi i fynu y cyfwng oedd yn aros â phalasau costfawr o amgylch: yn gymmaint ag nid yn unig yr olwg ar du fewn yr adeiladau oedd ardderchog, ond addurniadau gwychion a osodwyd ar y muriau oddi allan, a'r crongiwydydd. Heblaw hyn fe dynnodd helaethrwydd o ddwfr yno o bellder mawr, ac ar draul nid bychan: ac a wnaeth esgyniad iddo o ddau cant o risiau, o'r maen mynor gwynnaf. Canys y mynydd ei hun ydoedd o uchder cymhedrol, a'r gwaith a wnaed arno oll yn ddychymmygol. Efe hefyd a adeiladodd balasau eraill ynghylch troed y mynydd, yn ddigon i gynnwys y dodrefn a osodwyd ynddynt. Yn gymmaint ag ar gyfrif eu bod yn cynnwys pob angenrheidiau, yr ymddangosai'r amddiffynfa fel dinas; ond wrth ei therfynau fel palas yn unig.

Ac wedi adeiladu o hono gymmaint, fe ddangosodd ehangder ei feddwl tu ag at nifer nid bychan o ddinasoedd dieithr. Cyfododd leoedd o ddifyrrwch yn Tripoli, Damascus, a Ptolemais. Gwnaeth fûr o amgylch Byblus; megis hefyd ystafelloedd ehang, temlau, a marchnad-leoedd yn Berytus a Tyre; gyd â chwareudai yn Sidon a Damascus. Gwnaeth hefyd red-le dyfroedd i'r Laodiceaid oedd yn byw ar làn y môr; ac i'r rhai yn Ascelon fe wnaeth ymolchfeydd, a ffynhonnau costfawr; gyd â mynachdai hefyd o gylch y cyntedd; y rhai ydoedd i'w rhyfeddu ar gyfrif eu celfyddwaith a'u helaethrwydd. Ymhellach, fe gyssegrodd lwyni a meusydd i ryw bersonau neillduol. Ië, nid ychydig ddinasoedd ydoedd â thir yn eu canlyn heb fod o'i roddiad ef, fel pe buasent ran o'i deyrnas ei hun. Cyfrannodd hefyd deyrnged flynyddol, a hynny tros fyth, ar sefydliadau chwareuol; ac a appwyntiodd iddynt hwy, yn gystal ag i drigolion Cos, na fyddai i'r fath wobrwyon fod fyth yn eisiau. Cyfrannodd ŷd hefyd i bawb oedd mewn diffyg o hono: ac a roddodd yn Rhodes fesur

* Yr adeiladaeth yma o ddinasoedd ar yr enw Cæsar, a grybwyllir yn y lle hwn, ac yn yr Hynafiaethau gan Josephus am Herod, a gyddystir gan yr historiawyr Rhufeinaidd, megis pethau mynych y pryd hynny i'w gweled yn nhaleithiau yr ymmerodraeth honno.

† Hynaf. XIII. 13.

‡ Yr ydoedd dwy ddinas neu gastellau, tan yr enw Herodium, yn Judea; ac a'u crybwyllir bob un gan Josephus, nid yn unig yma, ond Hynaf. XIV. 13. XV. 9. Am y Rhyf. I. 13. III. 3. Un o honynt oedd 200, a'r llall yn 60 o stadau o Jerusalem: ac un arall a grybwyllir gan Pliny, yn ei Hanes Naturiaethol, 5. 14.

mawr o arian i adeiladu llongau: a hyn a wnaeth mewn llawer o leoedd yn fynych. Ac wedi i deml Apollo gael ei llosgi i lawr, efe a'i hail-adeiladodd ar ei gost ei hun, yn well ei gwneuthuriad nag o'r blaen. Pa raid i'm lefaru am yr anrhegion a wnaeth i'r Lysiaid a'r Samisiaid? neu am ei haelioni mawr trwy holl Ionia? a hynny yn ol angen pob un o honynt. Ac onid yw'r Atheniaid, Lacedæmoniaid, Nicopolitiaid, a'r Pergamus sydd yn Lysia, yn llawn o anrhegion a roddwyd iddynt gan Herod. Ac am y lle agored hwnnw sydd yn perthyn i Antioch yn Syria, oni ddarfu iddo ei balmantu â cherrig nadd o faen-mynor, er ei fod yn ugain ystad o hyd? a hyn wedi i'r lle gael ei adael gan bawb o'r blaen, oblegid ei fod yn llawn o ddom â budreddi; pan y darfu iddo ef heblaw hynny, addurno yr un lle â mynach-dai o'r un hyd.

Mae'n wir y gall un ddywedyd, mai ffafrion oedd y rhai hyn a ganiattawyd i leoedd neilltuol y cyfrannodd efe ei roddion ynddynt. Ond yna, y ffafrion a ddangosodd tu ag at yr Eleaniaid ydoedd gyfraniadau, nid yn unig yn gyffredin i holl dir Groeg, ond i'r ddaear gyfanneddol, cyn belled ag y cyrhaeddai clod y chwareugamp Olympaidd. Canys pan welodd y chwareuon hynny wedi myned i'r dim o ddiffyg arian; a bod gweddillion Groeg hynafiaethol mewn ystyr wedi ei golli; efe nid yn unig a ddaeth yn un o'r ymdrechwyr ar y dychweliad hwnnw o'r pummed mlynedd chwareugamp, ym mha le ar ei ddychweliad o Rufain y digwyddodd fod yn bresennol; ond efe a sefydlodd deyrnged arnynt yn arian er eu parhad. Yn gymmaint na ddichon ei goffadwriaeth yno, fel ymdrechwr, fyth fyned yn anghof. Byddai yn orchwyl di-derfyn i mi fyned tros ei waith yn talu dyledion pobl anghenus, neu ynte dalu teyrnged trostynt: fel yr esmwythaodd ar bobl Phasaelis, Batanea, a'r dinasoedd bychain o amgylch Cilicia, o'r deyrnged flynyddol a arferent ei thalu. Pa fodd bynnag, yr ofn ag ydoedd ynddo a flinodd ei feddwl yn fawr, rhag gwneuthur ei hun yn agored i genfigen; neu ymddangos ei fod yn erlid ar ol pethau mwy nag a ddylai; tra yr oedd yn rhannu rhoddion mwy haelionus i'r dinasoedd hyn, na'u perchennogion eu hunain.

Yn awr, yr oedd gan Herod gorph cyfaddas i'w enaid; ac yr oedd yn heliwr tra rhagorol: yn hyn yr oedd yn gyffredin yn llwyddiannus, trwy ei ffordd ddyfeisgar o farchogaeth: canys mewn un dydd fe ddaliodd ddeugain o anifeiliaid gwylltion. *Nid yw y wlad honno yn magu dim ond eirth; a'r rhan fwyaf o honi a adlenwir â cheirw, ac assynod gwylltion. Yr ydoedd hefyd y fath ryfelwr a'r na ellid ei wrthsefyll. Llawer y ddynion, gan hynny, a ryfeddasant wrth ei barodrwydd mewn ymarferiad milwraidd; pan welent ef yn bwrw'r waywffon yn union yn y blaen, ac yn ergydio'r saeth yn gymmwys at y nod. Ac yna heblaw ei gyflawniadau hyn, gan hyderu ar rymmusder ei gorph a'i feddwl, ffortun ydoedd hefyd yn dra ffafriol iddo. Canys anfynych y methodd ef lwyddiant yn ei ryfeloedd: a phan aflwyddai, nid efe ei hun a fyddai'r achos o'r fath aflwyddiant: ond efe a fradychid gan rai; neu fyrbwylldra ei filwyr a barodd, ar amserau, ei orchfygu.

## PENNOD XXII.

*Am lofruddiad Aristobulus, a Hyrcanus yr Archoffeiriad, a Mariamne y Frenhines.*

FFORTUN, pa fodd bynnag, a ddialodd ar Herod, er ei lwyddiant allanol, trwy beri iddo flinderau oddiwrth ei deulu: ac fe ddechreuodd gael yno annhrefn gwyllt ar gyfrif ei wraig, o ba un yr ydoedd yn dra hoff. Canys pan ddaethai i'r llywodraeth, efe a ollyngodd ymaith yr hon a briodasai o'r blaen, pan ydoedd yn ddyn unigol, enw pa un oedd Doris, ac a anesid yn Jerusalem: ac efe a briododd Mariamne, merch Alexander, mab Aristobulus. Ar y cyfrif hwn anghydfod a gyfododd yn ei deulu, a hynny mewn rhan yn dra buan; ond yn bennaf ar ol ei ddychweliad o Rufain. Canys yn gyntaf oll fe fwriodd Antipater, mab Doris, er mwyn ei feibion o Mariamne, allan o'r ddinas: heb ganiattau iddo ddyfod yno ar un amser arall ond y gŵyliau arbennig. Ar ol hyn fe laddodd daid ei wraig, Hyrcanus, wedi ei ddychwelyd o Parthia atto ef; tan yr esgus o'i fod yn drwg-dybio ddarfod iddo fradwriaethu yn ei erbyn. Yn awr, yr Hyrcanus hwn a

* Ymddengys fod yma ryw ddiffyg bychan yn y copiau, ag sy'n adrodd am fwystfilod gwylltion yn cael eu hela mewn rhyw wlad gan Herod, heb grybwyll pa wlad ydoedd.

ddygasid ymaith yn gaeth at Barzapharnes pan oresgynnodd Syria. Ond y bobl o'i wlad ei hun ag oedd yn aros y tu hwnt i Euphrates, a ewyllysiasant iddo aros gyd â hwynt; a hynny oddiar y tosturi oedd ganddynt tu ag at ei amgylchiad. A phe buasai yn cydsynio â'u dymuniad hwynt, pan gyngorasant ef i beidio myned tros yr afon at Herod, ni buasai farw. Ond priodas ei ŵyres â Herod ydoedd ei hudoliaeth ef. Canys fel yr oedd yn hyderu arno ef, ac yn ormodol yn hoffi ei wlad ei hun, efe a ddaeth yn ol iddi. Y peth a gynhyrfodd Herod i'w erbyn ydoedd hyn, nid fod Hyrcanus yn gwneud un cynhygiad tu ag at gael y deyrnas; ond tybied o hono farnu gan eraill ei fod yn gymhwysach i fod yn frenin arnynt na Herod.

Yn awr o'r pump o blant oedd gan Herod o Mariamne, dwy o honynt ydoedd ferched, a thri yn feibion; a'r ieuangaf o'r meibion hyn a ddygid i fyny yn Rhufain, ac a fu farw yno. Ond y ddau hynaf a driniodd ef fel rhai o waed brenhinol, ar gyfrif teulu ardderchog eu mam; ac o herwydd na anesid hwynt nes iddo ef fyned yn frenin. Ond y peth oedd fwyaf o hyn i gyd ydoedd y serch a ddygodd tu ag at Mariamne, ag oedd yn ennyn yn feunyddiol ynddo i raddau mawr; ac a ymunodd mor bell a'i gynnyrfiadau eraill, fel na theimlodd flinderau eraill, o herwydd ei serchiadau tu ag atti hi. Ond casineb Mariamne atto ef nid ydoedd lai na'i serch yntau tu ag atti hi. Nid ydoedd ganddi yn wir ond achos rhy gyfiawn o ddigter ar gyfrif yr hyn a wnaethai ef, tra'r oedd ei hyfdra yn tarddu oddiwrth ei ormodol serch tu ag atti. Felly hi a'i gwaradwyddai yn amlwg am yr hyn a wnaethai i'w thaid Hyrcanus, a'i brawd Aristobulus: canys ni arbedodd yr Aristobulus hwnnw, er nad ydoedd ond plentyn. Canys wedi rhoddi o hono iddo'r archoffeiriadaeth yn ddwy flwydd ar bymtheg o oedran, fe'i lladdodd ar fyrder wedi ei osod yn yr uchelfraint honno. Ond wedi i Aristobulus ddodi'r gwisgoedd cyssegredig am dano, a nesâu ar yr ŵyl at yr allor, y lliaws yn dorfeydd mawrion a syrthiasant i dywallt dagrau: ar ba achos y plentyn a ddanfonwyd yn y nos i Jericho, ac yno a drochwyd ac a gadwyd tan ddwfr mewn llyn wrth Jericho, gan y Gauliaid, wrth orchymmyn Herod, nes ei foddi ef.

Am y rhesymmau hyn Mariamne a waradwyddodd Herod, ei chwaer, a'i fam, yn y modd mwyaf dirmygus, tra'r oedd efe yn fud ac heb ddywedyd dim, o herwydd ei serchowgrwydd tu ag atti. Etto'r oedd gan y gwragedd lid mawr; ac a haerasant ei bod yn anffyddlon iddo; gan ddychymmygu yr enllib hwn yn fwyaf tebyg i gynhyrfu eiddigedd Herod. Darfu iddynt hefyd ddyfeisio amryw achlysuron eraill, mewn trefn i wneud y peth yn fwy crediniol ganddo; gan ei chyhuddo o ddarfod iddi ddanfon ei llun, neu ddarluniad ei pherson i Antony yn yr Aipht: a bod ei nwyfiant mor anghymmesur, a pheri iddi y modd hwn ddangos ei hun, tra'r ydoedd yn absennol, i ddyn ag oedd mewn gwallgof am fenywaid; ac i ddyn oedd â chanddo awdurdod i wneuthur trais â hi. Yr achwyniad hwn a syrthiodd fel ergyd taran ar Herod, ac a'i dododd mewn anhwyl; a hynny yn enwedig o herwydd fod ei gariad tu ag atti yn peri ynddo eiddigedd: a chan ystyried ag ef ei hun fod Cleopatra yn ddynes gyfrwysddrwg; ac mai ar ei chyfrif hi y cymmerasid ymaith Lysanias y brenin, yn gystal a Malichus yr Arabiad: canys ei ofn a gyrhaeddodd nid yn unig hyd at wahaniad ei briodas, ond perygl am ei fywyd.

Pan ydoedd gan hynny ynghylch myned oddicartref, efe a orchymmynodd ofal ei wraig i Joseph, gwr ei chwaer Salome, megis i un ag a fyddai yn ffyddlon iddo, ac yn dwyn ewyllys da tu ag atto o herwydd eu perthynas. Efe hefyd a roddodd iddo orchymmyn dirgelaidd; os byddai i Antony ei ladd ef, am iddo yntau ei lladd hi. Ond Joseph, heb ddim drwg amcan, ac yn unig mewn trefn i amlygu cariad y brenin at ei wraig, a'r modd na allai ddioddef meddwl ysgar â hi, ïe, yn angau ei hun, a ddatguddiodd y dirgelwch mawr hwn iddi. Ar yr hyn, pan ddychwelodd Herod yn ol, fel yr oeddynt yn cyd-ymddiddan, ac fel hyn yr oedd yn sicrhau ei gariad tu ag atti trwy amryw lwon; ac yn addef na fuasai ganddo y fath serch erioed at neb rhyw ferched eraill, ag oedd ganddo tu ag atti hi: "Ië,"* eb hi, "ti ddangosaist, mae'n sicr, dy gariad

* Yma'r ymddengys diffyg neu gam-syniad mawr ynghopiau presennol Josephus, neu goffadwriaethau. Canys ni waradwyddodd Mariamne Herod yn awr oblegid ei orchymmyn cyntaf wrth Joseph, ymherthynas i ddwyn ei bywyd, os lladdwyd ef ei hun gan Antony, ond ddarfod iddo roddi y cyffelyb orchymmyn yr ail waith i Soemus hefyd, pan ofnasai cael ei ladd gan Augustus. Hynaf. XV. 3, 5, &c.

tu ag attaf, trwy'r gorchymmynion a roddaist i Joseph, pan erchaist iddo fy lladd i!"

Pan glywodd hyn, a deall fod y dirgelwch mawr yma wedi ei ddatguddio, yr ydoedd fel dyn allan o'i bwyll; ac a ddywedodd, na fuasai Joseph fyth wedi amlygu y gorchymmyn hwnnw a roddasai ef iddo, heb iddo ei halogi hi. Trwy boethder ei natur yr ydoedd yn awr mewn cynddeiriogrwydd gwyllt; ac a redodd o amgylch y palas fel dyn gwallgofus. Ar ba amser ei chwaer Salome a gymmerodd hefyd y cyfleusdra o ddrwg-liwio ei hymddygiad, a chadarnhau ei ddychymmyg am Joseph. Ar yr hyn, trwy ei eiddigedd a'i gynddaredd anllywodraethus, fe orchymmynodd ladd pob un o honynt yn ddioed. Ond cyn gynted ag yr aeth ei wylltineb drosodd, fe edifarhaodd am yr hyn a wnaethai: ac fel yr oedd ei ddigter yn gwisgo ymaith, ei serchowgrwydd a enynnodd drachefn. Ac yn wir yr oedd fflam ei ddymuniadau ymberthynas iddi mor danbaid, fel na thybiai ei bod hi yn farw; ond a ymddangosasai tan ei anhwyldeb megis yn llefaru wrthi, fel pe buasai etto yn fyw, nes ei addysgu yn well gan amser; pan oedd ei ofid a'i gystydd, yn awr wedi ei marw, yn ymddangos mor fawr, ag a fuasai ei serch am dani pan ydoedd hi yn fyw.

## PENNOD XXIII.

*Am yr enllibiau a godwyd yn erbyn meibion Mariamne; eu cyhuddiad o flaen Cæsar, a chymmodiad Herod â hwynt.*

YN awr meibion Mariamne oeddynt etifeddion i'r casineb hwnnw i ba un y gauesid eu mam. A phan ddaethant i ystyried maintioli bai Herod tu ag atti, yr oeddynt yn ddrwgdybus o hono; a hyn a ddechreuodd gyntaf pan oeddynt tan addysg yn Rhufain; ond yn fwy fyth wedi eu dychwelyd i Judea. Y dymmer hon a gynnyddodd gyd â hwynt, fel y tyfasant i fynu i fod yn ddynion. A phan ddaethant yn gymmwys i fyned mewn stad briodasol; un o honynt a briododd ei fodryb, merch Salome; pa ryw Salome a fuasai'n gyhudd-wraig yn erbyn ei fam. Y llall a briododd ferch Archelaus, brenin Cappadocia. Ac yn awr hwy a arferasant hyfdra wrth siarad, yn gystal a chynnwys casineb yn eu meddyliau. Yn awr y rhai a'u henllibient a gymmerasant achlysur oddiwrth eu cyfryw hyfdra; ac amryw o honynt yn awr a lefarasant yn eglur wrth y brenin, fod amcanion bradwriaethus wedi eu gosod gan ei feibion yn ei erbyn. A'r hwn oedd fab-ynghyfraith i Archelaus, gan hyderu arno ef, oedd yn parottoi i ddiangc ymaith, mewn trefn i gyhuddo Herod o flaen Cæsar. Ac fel yr oedd meddyliau Herod yn hir ddigon wedi bod yn cael eu llenwi â'r enllibiau hyn; efe a ddug Antipater, yr hwn a gafodd o Doris, i ffafr drachefn, fel yn amddiffyn iddo ef yn erbyn ei feibion; ac a ddechreuodd y'mhob ffordd a'r a fedrai ddangos ei ddewisiad o hono o'u blaen hwynt.†

Ond y meibion yma ni allent ddioddef y cyfnewidiad hwn yn eu hamgylchiad. Ond pan welsant yr hwn oedd wedi ei eni o wraig nad oedd o un teulu parchedig, uchder eu genedigaeth a'u gwnaeth hwynt yn analluog i gynnwys eu hanfoddlonrwydd: ond pa bryd bynnag yr anesmwythent, hwy a ddangosent y digter o'i herwydd. Ac fel yr oedd y meibion yma ddydd ar ol dydd yn cynnyddu yn eu dig, Antipater eisoes a arferodd ei holl allu ei hun, yr hyn ydoedd fawr, yn gwenieithio i'w dad; ac yn dyfeisio amryw fath o achwyniadau yn erbyn ei frodyr, pan luniodd rai chwedlau arnynt ei hun, gan roddi ar eraill a dybiodd yn gymhwysaf i hynny wneuthur yr un peth: nes, o'r diwedd iddo dorri ymaith bob gobaith oddiwrth ei frodyr rhag dyfod i feddiannu'r deyrnas: canys efe a ddodasid i fynu eisoes yn ewyllys ei dad, fel ei ddilynwr yn y llywodraeth. Yn ganlynol efe a ddanfonwyd gyd ag addurniadau brenhinol, a nodau eraill o fawredd at Cæsar, oddigerth y goron-bleth. Gallodd hefyd mewn amser gael derbyniad i'w fam drachefn i ystafell wely Mariamne. Y ddau arf a ddefnyddiodd yn erbyn ei frodyr ydoedd, gweniaeth a chamgyhuddiad, trwy y rhai y dygodd bethau o'r diwedd i'r fath amgylchiad, fel y meddyliodd y brenin roddi ei feibion i farwolaeth.

Felly y tad a dynnodd Alexander gyd ag ef cyn belled a Rhufain; gan ei gyhuddo o ymgais i'w wenwyno ef o flaen Cæsar. Ni allai Alexander ond yn brin lefaru gan wylofain: ond â chanddo ddeall cywreiniach nag Antipater, a doethach na Herod, efe yn synhwyrol a ochelodd grybwyll un camwedd cyfrifol i'w dad; ond

† Hynaf. XVI. 3.

gyd â rhesymmau tra chedyrn, fe wrth-brofodd y cyhuddiadau a osodasid yn ei erbyn. Ac wedi iddo ddatgan diniweidrwydd ei frawd, yr hwn oedd tan yr un perygl ag ef ei hun, efe o'r diwedd a gŵynodd o herwydd dichellion Antipater, a'r gwaradwydd yr oeddynt oll tano. Gallodd hefyd ei gyfiawnhau ei hun, nid yn unig wrth gydwybod glir, yr hon a ddygodd yn ei fynwes, ond wrth areithiad cadarn ac ymadroddus: canys yr ydoedd o ddawn odiaethol a synhwyrol i ymadroddi. A phan ddywedodd o'r diwedd, os oedd ei dad yn cyfrif y beiau hyn iddynt hwy, fod yn ei allu eu rhoddi i farwolaeth, parodd i'r holl wrandawyr ŵylo: ac fe wnaeth i Cæsar ddyfod o'r fath feddyliau, ag i wneuthur gwrthodiad o'r cyhuddiad, a chymmodi eu tad â hwynt hwy yn ddioed. Ond ammodau'r cymmod yma ydoedd hyn; a'r fod iddynt ym mhob peth ufuddhau i'w tad, a bod iddo ef awdurdod i adael y deyrnas i'r sawl o honynt a welai yn dda.

Ar ol hyn y brenin a ddychwelodd o Rufain, ac a ymddangosodd megis wedi madden i'w feibion ar y cyhuddiadau hyn: ond etto yn y cyfryw fodd, a'r nad oedd heb anhyder ynddynt. Hwy a ddilynwyd gan Antipater, yr hwn oedd ffynnon yr holl gyhuddiadau hyn: etto ni ddangosodd yn gyhoeddus ei gasineb tu ag attynt, megis yn ymddial ar yr hwn a gymmodasai â hwynt. Ond fel y mordwyodd Herod i Cilicia, efe a gyffyrddodd ag * Elensa; ym mha fan yr ymddygodd Archelaus tu ag attynt yn y modd caruciddiaf: gan ddiolch i Herod am waredigaeth ei fab-ynghyfraith; ac ydoedd yn llawen ganddo ddarfod eu cyd-gymmodi: a hynny yn fwy o herwydd ysgrifennu o hono at ei gyfeillion yn Rhufain, am fod yn gynnorthwyol i Alexander yn ei brofiad o flaen Cæsar. Felly fe gyd-ymdeithiodd â Herod cyn belled a Zephyrium, gan wneud iddo anrhegion o werth deg ar hugain o dalentau.

Yn awr wedi i Herod ddyfod i Jerusalem, efe a gynhullodd y bobl ynghyd, ac a osododd ger eu bron ei dri mab, ac a roddodd iddynt amddiffynol hanes o'i absennoldeb: gan ddiolch yn fawr i Dduw, ac i Cæsar hefyd, am drefnu achos ei deulu, pan ydoedd wedi myned mor derfysglyd, a sefydlu undeb rhwng ei feibion, yr hyn oedd o fwy canlyniad na'r deyrnas ei hun:

"Canys Cæsar," eb efe, "a roddodd yn fy ngallu i drefnu'r llywodraeth ac appwyntio un i deyrnasu ar fy ol. Yn ganlynol, mewn ffordd o dâl am ei gredigrwydd, ac mewn trefn i arlwyo er fy mantais fy hun, yr wyf yn tystio, y bydd i'm tri meibion hyn fod yn frenhinoedd. Ac, yn y lle cyntaf, yr wyf yn gweddio am gymmeradwyad gan Dduw i'r hyn yr ydwyf ynghylch ei wneuthur; ac yn y lle nesaf, yr wyf yn dymuno eich cymmeradwyad chwithau hefyd. Oedran un o honynt, ac uchel-radd y lleill, a ynnill iddynt y blaenoriaeth. Ië yn wir, mae fy nheyrnas mor ehang, ai bod yn ddigon i ychwaneg o frenhinoedd. Yn awr, cedwch y rhai hynny yn eu lle, y rhai a gyssylltodd Cæsar, ac a appwyntiwyd gan eu tad: ac na fydded i chwi dalu annyledus neu anghydradd barch iddynt; ond i bob un yn ol rhagorfraint eu genedigaeth. Canys yr hwn a ddangoso y fath barch mewn ffordd annyledus, ni wna wrth hynny yr un a anrhydeddir tu hwnt i'r hyn y mae ei oedran yn gofyn mor llawen, ag y gwna yn hwn a ddi-anrhydeddir yn brudd. Am y perthynasau a'r cyfeillion ag sydd i gymdeithasu â hwynt, myfi a'u hordeiniaf i bob un o honynt; ac a'u sefydlaf yn y cyfryw fodd ag y byddont yn feichnïon tros eu huniondeb; yn gystal a gwybod y bydd i ddrwg-dueddiad y rhai a gydymddiddano â hwynt, beri amrafael ac ymryson yn eu mysg. Ond os bydd y rhai a gyfeillachont â hwynt o duedd daionus, hwy a gadwant eu serchiadau naturiol yn eu hiawn le y naill tu ag at y llall. Ond etto'r wyf yn dymuno bod nid yn unig i'r rhai hyn, ond holl gadbeniaid fy myddin, â'u gobaith tros yr amser presennol wedi ei sefydlu arnaf fi yn unig. Trwy'r hyn y daw o amgylch, fod iddynt fwynhau hyfrydwch llywodraeth, fel rheolwyr eu hunain; ond bod baich y weinidogaeth wladol i orphwys arnaf fy hun, pa un bynnag a ddewiswyf hynny a'i peidio. Ac ystyried pob un o ba oedran yr ydwyf; y modd yr arweiniais fy mywyd, a pha dduwioldeb a ymarferais. Canys nid yw fy oed mor fawr, ag y gall dynion ddisgwyl yn

* Fod yn yr ynys hon Elensa, a elwid yn ol hynny Sebaste, yn agos i Cilicia, balas brenhinol, yn perthyn i'r Archelaus hwn, brenin Cappadocia, Strabo sy'n ei dystiolaethu, XIV. t. d. 671.

ebrwydd derfyn ar fy einioes: ac nid ymarferais â'r fath ffordd afradlon o lywodraethu, ac sy'n torri dynion ymaith tra maent yn ieuaingc: ond mi a fu'm mor grefyddol tu ag at Dduw, ag y mae genuyf reswm i obeithio y cyrhaeddaf oedran mawr. Ond am y cyfryw a ymdrechant i fod yn gyfeillgar â'm meibion, yn y fath fodd ag i amcanu at fy ninystr, hwy a gospir gennyf ar eu cyfrif hwynt. Nid wyf fi'n un ag sydd yn cynfigennu wrth fy mhlant fy hun; a thrwy hynny yn gwahardd dynion i dalu dyledus barch iddynt. Ond yr wyf yn gwybod fod dangos gormodedd o barch yn tueddu i'w gwneuthur yn falch ac yn drahaus. Ac os bydd i bawb a nesaont attynt ond cadw hyn yn eu meddwl; mai os prawf yn ddyn da, y bydd iddo dderbyn gwobr gennyf fi: ond os tyf yn ymrysongar, ei ddrwg-fwriadol foesgarwch ni ennill dim oddiwrth yr hwn y dangoser iddo: dychymmygaf eu bod oll o'm tu i, y rhai a fyddont o du fy meibion. Canys fe fydd er eu mantais hwynt fy mod i yn teyrnasu; a'm bod mewn undeb â hwynt. Ond bydded i chwi, O fy mhlant, adfyfyrio ar gyssegredig berthynas natur, trwy ba foddion y mae serch naturiol yn cael ei gynnal, ïe, ym mhlith bwystfilod gwylltion: yn y lle nesaf coffewch am Cæsar, yr hwn a wnaeth i fynu y cymmod yma rhyngom; ac yn y trydydd lle, ystyriwch finnau fel yr wyf yn erfyn arnoch wneuthur yr hyn y mae gennyf awdurdod ei orchymmyn i chwi. Parhewch yn frodyr. Yr wyf yn rhoddi gwisgoedd brenhinol i chwi, ynghyd ag anrhydedd brenhinol. Ac yr wyf yn attolygu ar Dduw i lwyddo yr hyn a fwriedais, tra fyddoch mewn undeb y naill â'r llall." Wedi i'r brenin lefaru y modd hwn, a chofleidio pob un o'i feibion, mewn modd caredigol, efe a ollyngodd ymaith y lliaws. A rhai o honynt a roesant eu cydsyniad i'r hyn a ddywedodd, ac a ddymunasant i'r peth gymmeryd effaith yn ganlynol. Ond am y rhai a ewyllysiasant gyfnewidiad ar drefniadau'r llywodraeth, cymmerasant arnynt na wnaethant gymmaint a gwrando'r hyn a ddywedodd.

PENNOD XXIV.

*Am falais Antipater a Doris; Herod yn madden i Pheroras a Salome; profi efnuchiaid Herod trwy arteithiau; a charchariad Alexander.*

OND y cweryl oedd rhyngddynt a ddilynodd y brodyr hyn etto wedi eu hymadawiad: a'r drwg-dybiau oedd ganddynt am eu gilydd a chwanegodd yn waeth. Alexander ac Aristobulus oeddynt yn gofidio yn fawr, fod rhagorfraint y cyntaf-anedigion wedi ei chadarnhau i Antipater: ac Antipater oedd yn dra digllon wrth ei frodyr, am eu bod i lywodraethu ar ei ol. Ond wrth ei fod o dymmer gyfnewidiol a chyfrwys, efe a wyddai pa fodd i attal ei dafod, ac a arferodd lawer o gallineb, a thrwy hynny a gadwodd yn guddiedig y casineb yr oedd yn ei ddwyn tu ag attynt: tra'r oeddynt hwythau yn ymorphwys ar uchelradd eu genedigaeth, ac â phob peth ganddynt ar eu tafod ag oedd yn eu meddyliau. Llawer hefyd ydoedd y rhai a'u gyrrant ymhellach: ac amryw o'u cyfeillion ymddangosiadol a weithient eu hunain i mewn i'w cymdeithas, i graffu ar yr hyn a wnaent. Yn awr, pob peth a ddywedid gan Alexander, a ddygid yn ebrwydd i Antipater, ac a ddygid oddiwrth Antipater at Herod, gyd â chwanegiad. Ac ni fedrai'r dyn ieuangc ddywedyd dim yn symlrwydd ei galon, heb roddi tramgwydd: ond pa beth bynnag a ddywedai a drowyd fyth yn enllib i'w erbyn. Ac os digwyddai fod un amser ychydig yn hŷ yn ei ymddiddanion, anair mawr a roddid iddo oddiwrth yr achosion lleiaf. Antipater hefyd oedd yn wastad yn gosod rhai ar waith i beri iddo lefaru; fel y byddai'r celwyddau a gyfodai arno, yn ymddangos ag iddynt beth sail o wirionedd. Ac os, ym mhlith yr amryw chwedlau a roddid allan, y gellid profi un o honynt yn wir, meddylid fod hynny yn arwyddo gwirionedd y lleill hefyd. Ac am gyfeillion Antipater, yr oeddynt oll un ai o natur yn ochelgar i lefaru, neu a wobrwyid mor bell am guddio eu meddyliau, fel na ddaeth dim ar led o'r dirgeledigaethau mawrion hyn, trwyddynt hwy. Ac ni cham-gymmerai neb pe galwent fywyd Antipater yn ddirgelwch o ddrygioni. Canys efe un ai a lygrai gymdeithion Alexander ag arian, neu a enillodd ei hun i'w ffafr trwy weniaeth, trwy ba ddeuryw foddion fe gafodd i ben ei holl amcanion; gan eu hudo hwynt i fradychu eu meistr; i ladratta ymaith a datguddio pa beth bynnag a wnaeth neu a ddywedodd.

Fel hyn y gweithredodd yn dra chyfrwys ym mhob ystyr, ac a wnaeth iddo ei hun ffordd trwy enllibiau gyd â'r cyfrwysdra mwyaf; tra yr oedd yn dodi arno ei hun wedd brawd tu ag at Aristobulus ac Alexander; ond a ddenodd ddynion eraill i hyspysu iddo yr hyn a wnaent i Herod. A phan ddywedid rhyw beth yn erbyn Alexander, efe a ddeuai i mewn, ac a gymmerai arno fod o'i du, ac a ddechreuai wrthwynebu yr hyn a ddywedid: ond ar ol hynny fe ddyfeisiai fatterion mor ddirgel yn ei erbyn, fel y parai ddigofaint yn y brenin tu ag atto. Ei amcan cyffredin ydoedd gosod bradwriaeth, a pheri credu fod Alexander yn gwylio yn ddirgel am gyfle i ladd ei dad. Canys nid oedd dim yn cadarnhau yn fwy yr enllibiau hyn ag amddiffynniad Antipater o hono ef.

Trwy'r moddion yma yr enynnwyd digter Herod: a chyn gymmaint ag yr oedd ei serch naturiol at y gwŷr ieuaingc yn lleihau, o gymmaint a hynny yr oedd yn cynnyddu at Antipater. Gwŷr y llys hefyd oeddynt yn gogwyddo yr un ffordd; rhai o honynt eu hunain, eraill trwy orchymmyn y brenin; fel yn neillduol y darfu i Ptolemy, cyfaill anwylaf y brenin, ynghyd â brodyr y brenin hefyd, a'i holl blant. Canys Antipater ydoedd oll yn oll; a'r peth chwerwaf i Alexander ydoedd o'r cwbl, mam Antipater oedd fwyaf mewn derbyniad: hi yn un a roddai gyngor yn eu herbyn, ac ydoedd yn fwy sarrug wrthynt na llys-fam; ac yn un ag oedd yn cashau meibion y frenhines, yn fwy nag y mae'n arferol gwneuthur â meibion ynghyfraith. Pawb gan hynny, erbyn hyn a dalent eu parchedigaeth i Antipater, mewn gobaith o ryw fanteision: a gorchymmyn y brenin ydoedd hynny; yr hyn a ddieithrodd bawb tu ag at y brodyr; gan orchymmyn o hono ef hyn i'w gyfeillion agosaf, na ddeuent yn agos at, na thalu dim parch i Alexander na'i gyfeillion. Herod gan hynny oedd wedi dyfod yn arswyd, nid yn unig i'w dylwyth o amgylch y llys, ond i'w gyfeillion oddicartref. Canys ni chaniattasai Cæsar ragorfraint mor helaeth i neb rhyw frenhinoedd eraill ag iddo ef; i'r diben yma, fel y dygai yn ol pwy bynnag a ddiangai oddiwrtho, ïe, o ddinas nad oedd tan ei arglwyddiaeth ef.

Yn awr nid oedd y gwŷr ieuaingc yn adnabyddus o ddim o'r enllibiau a godid yn erbyn un o honynt; am ba reswm ni allent osod eu hunain ar wyliadwriaeth yn eu herbyn, ond a syrthiasant tanynt: canys ni wnaeth eu tad ddim achwyniad cyhoeddus yn erbyn un o honynt. Ym mhen ychydig hwy a welsant fel yr oedd pethau yn bod, trwy ei oerfelgarwch tu ag attynt; ac wrth yr anesmwythder mawr a ddangosodd ar ba achos bynnag y blinid ef. Antipater hefyd a wnaethai eu hewythr Pheroras yn elyn iddynt, yn gystal a'u modryb Salome, tra'r ydoedd yn ymddiddan â hi, megis â'i wraig, gan ei chythruddo yn eu herbyn hwynt. Ymhellach, gwraig Alexander, Glaphyra, a chwanegodd y casineb, trwy ddadleu ardderchowgrwydd ei thylwyth, a'i disgyniad o bersonau o radd uchel, megis Temenus, o du ei thad, a Darius, mab Hystaspes o du ei mam. Hi hefyd yn fynych a waradwyddai chwaer Herod, a'i wragedd, megis rhai o deuluoedd anurddasol, y rhai a ddewisasid bob un ganddo ar gyfrif eu tegwch, ac nid o herwydd urddas eu teuluoedd. Yn awr y gwragedd hyn a berthynent iddo ef oeddynt nid ychydig o nifer, (oblegid caniattau yn yr amser gynt i'r Iuddewon * briodi amrywiaeth o wragedd; a'r brenin hwn a hoffodd lawer;) a phawb o honynt a gasasant Alexander, ar gyfrif ymffrost a gwaradwyddiadau Glaphyra. †

Ië, Aristobulus a godasai gweryl rhyngddo ei hun a Salome; yr hon oedd ei fam-ynghyfraith, heblaw'r digter a gymmerasai oddiwrth waradwyddiadau Glaphyra. Canys efe yn wastad a waradwyddai ei wraig ag iseldra ei thylwyth: gan achwyn, pan yr oedd efe wedi priodi dynes o radd isel, fod ei frawd Alexander yn briod ag un o waed brenhinol. Wrth hyn merch Salome a ŵylodd ac a ddywedodd i'w mam; gyd â'r chwanegiad hwn, i fod Alexander yn bygwth mammau ei frodyr eraill; fel pan ddeuai efe i'r goron, y gwnai iddynt wau hosanau, gyd a'u morwynion, ac i'w frodyr fod

* Ei fod yn arferiad anghoffadwriaethol ym mysg yr Iuddewon, a'u cyn-deidiau y Patriarchiaid, i fod ganddynt fwy o wragedd, neu orddrech-wragedd, nac un ac yr un amser; ac nad oedd amldra gwragedd yn cael ei waharddyn bendant ynghyfraith Moses, sydd yn amlwg. Ond bod i amlder gwragedd erioed gael yn eglur ei ganiattau gan gyfraith Moses, yn y mannau a nodir gan y Deon Aldrich, Deut xvii. 16,17. neu'r xxi. 15 nac yn wir yn unman arall, nid yw'n ymddangos i mi. A'r hyn a ddywed ein Hiachawdwr ynghylch cyffredin ysgariaeth yr Iuddewon, sydd yn wir i mi yn yr achos hwn, ddarfod i Moses am galedrwydd eu calonau oddef iddynt gymmeryd amlder o wragedd ar yr un amser: ond mai o'r dechreuad nid felly yr oedd." Math. xix. 8. Marc x. 5.

† Hynaf. XVII. 1.

yn ysgol-feistriaid yn y wlad, gan ddarfod gofalu am roddi dysgeidiaeth iddynt ag oedd yn eu haddasu i'r fath alwad. Ar hyn Salome ni allai gynnwys ei digter, ond hi adroddodd y cwbl i Herod; ac ni ellid ammeu ei thystiolaeth pan ydoedd yn erbyn ei mab-ynghyfraith. Yr ydoedd hefyd enllib arall o amgylch, ag a ennynodd ddigter y brenin. Canys fe glybu fod ei feibion hyn yn siarad yn wastad am eu mam: ac yn gymmysg a'u galar o'i phlegid hi, ni pheidient a'i felldithio ef. A phan wnai anrheg o rai o wisgoedd Mariamne i'w wragedd diweddar; bygythiai y gwŷr hyn, mai ym mhen ychydig amser, yn lle gwisgoedd brenhinol, y dilladid hwynt â dim gwell na sachlen flew.

Yn awr ar y cyfrif hwn, er ofni o Herod oblegid ysprydoedd uchel y gwŷr ieuaingc, etto nid oedd yn anobeithio eu darostwng i well meddyliau. Ond cyn iddo fyned i Rufain, i ba le yr ydoedd yn awr yn myned ar hyd y môr, efe a alwodd am danynt atto, gan eu bygwth fel brenin; ond yn bennaf eu rhybuddio megis tâd, a'u cynghori i garu eu brodyr; gan ddywedyd wrthynt y maddeuai eu troseddiadau o'r blaen, os gwellhaent tros yr amser i ddyfod. Ond hwy a wrthddywedasant yr enllibiau a godasid yn eu herbyn, gan ddywedyd eu bod yn anwireddus, a haeru fod eu gweithredoedd yn ddigon o amddiffyniad iddynt: a dywedyd hefyd y dylai efe ei hun gau ei glustiau rhag gwrando ar y fath chwedlau, a pheidio bod yn rhy hawdd ganddo eu credu; o herwydd na fyddai fyth yn eisiau rai a ddywedant gelwydd er eu hanfantais hwy, cyn gynted ag y rhoddai neb glust-wrandawiad iddynt.

Wedi iddynt fel hyn ei lonyddu ef, megis yr oedd yn dad, hwy a gawsant ymwared oddiwrth yr ofn presennol yr oeddynt ynddo. Etto hwy a ganfuant achos o dristwch ryw amser yn ol hynny. Canys hwy a wyddent fod Salome a'u hewythr Pheroras, yn elynion iddynt: y rhai ydoedd bob un o honynt yn bersonau trymion a llym; ac yn enwedig Pheroras, yr hwn ydoedd yn gyd-weithredwr â Herod yn holl achosion ei deyrnas, ond yn unig gwisgo'r goron. Yr ydoedd ganddo hefyd ugain talent o'i deyrnged flynyddol ei hun; ac a fwynhaodd yr elw oddiwrth yr holl diroedd tu hwnt i'r Iorddonen, yr hyn a dderbyniasai fel rhodd oddiwrth ei frawd; yr hwn a ofynasai gan Cæsar ei wnenthur yn detrarch, fel y gwnaethpwyd ef yn ganlynol. Herod hefyd a drefnasai wraig iddo allan o'r teulu brenhinol, yr hon nid oedd neb amgen na chwaer ei wraig ei hun: ac ar ol ei marw hi, dyweddiodd ei ferch ei hun ag ef, gyd â gwaddol neu gynhysgaeth o dri chant o dalentau. Ond Pheroras a wrthododd gwblhau y briodas frenhinol hon, oddiar serch i forwyn oedd ganddo. Ar ba gyfrif yr oedd Herod yn dra digllon; ac a roddodd y ferch honno yn briodaswraig i * fab ei frawd, yr hwn a laddwyd yn ol hynny gan y Parthiaid. Ond ym mhen amser fe roddodd heibio ei ddigter yn erbyn Pheroras, gan faddeu iddo megis un nad allai orchfygu hoffder ffol tu ag at y wasanaethyddes.

Pheroras yn wir a gyhuddasid er's hir amser o'r blaen, pan oedd y † frenhines yn fyw, fel pe buasai â bradwriaeth ynddo i wenwyno Herod. Ac fe ddaeth ym mlaen y pryd hynny gynnifer o amlygwyr fel y dygwyd Herod, er ei fod yn mawr garu ei frodyr, i gredu'r hyn a ddywedid, ac i'w arswydo hefyd. Ac wedi iddo ddwyn llawer o'r rhai a ddrwg-dybid i'r areithfa, fe ddaeth o'r diwedd at gyfeillion Pheroras ei hun. Neb o ba rai ni ddarfu iddynt yn gyhoeddus addef y bai: ond hwy a gyfaddefasant iddo wneud parottoad i gymmeryd yr hon yr oedd yn ei charu, a diangc ymaith at y Parthiaid. Costobarus hefyd, gwr Salome, i'r hwn y rhoddasai'r brenin hi yn briodas-wraig, ar ol dodi ei gwr o'r blaen i farwolaeth am odineb, ydoedd yn offerynol i ddwyn o amgylch y ffoedigaeth yma gan Pheroras. Ac ni ddarfu i Salome ddiangc rhag pob rhyw gyhuddiad arni ei hun: canys ei brawd Pheroras a'i cyhuddodd ddarfod iddi gyttuno i briodi Silleus, goruchwyliwr Obodas, brenin Arabia, yr hwn oedd a gelyniaeth chwerw at Herod. Ond wedi ei hargyhoeddi o hyn, ac o'r cwbl a achwynasai Pheroras arni, hi dderbyniodd faddeuant. Y brenin hefyd a faddeuodd i Pheroras am y beiau y cyhuddasid ef o'u herwydd.

Ond y dymestl ymhlith yr holl deulu a symmudodd at Alexander, ac a orphwysodd ar ei ben ef. Yr ydoedd tri o eunuchiaid y rhai oedd mewn cyfrifiad mwyaf gyd â'r brenin, fel yr

* Joseph. † Mariamne.

oedd yn amlwg oddiwrth y swyddi oedd ganddynt o'i gwmpas ef. Canys un o honynt ydoedd ei drulliad; arall a arlwyai ei swpper iddo; a'r trydydd a'i dodai i'w wely, ac a orweddai yn ei ymyl. Yn awr Alexander a ynnillasai y dynion hyn trwy roddion mawr, i adael iddo eu trin mewn fFordd anniwair; yr hyn pan ddywedwyd am dano i'r brenin, hwy a arteithiwyd, ac a gafwyd yn euog; ac yn fuan a gyffesasant y gyfeillach anghyfreithlon a fuasai rhyngddynt. Hwy hefyd a ddatguddiasant yr addewidion â'r rhai y denwyd hwynt i wneuthur y modd hwnnw, ac fel yr hudwyd hwynt gan Alexander; yr hwn a ddywedasai na ddylent sefydlu eu gobaith ar Herod, ag ydoedd yn hen ŵr, ac un ag oedd mor ddigywilydd a lliwio ei wallt; oddieithr iddynt dybied y gwnai hynny ef yn ieuangc drachefn: ond y dylent sefydlu eu golwg arno ef, yr hwn oedd i'w ddilyn yn llywodraeth y deyrnas, pa un bynnag a foddlonai ef neu beidio: a'r hwn cyn hir amser a ddialai ei hun ar ei elynion, ac a wnai ei gyfeillion yn ddedwydd ac yn wynfydedig; a hwy eu hunain yn y lle cyntaf: fod y gwŷr o awdurdod eisoes yn rhoddi parch dirgelaidd i Alexander; a bod cadbeniaid y milwyr, a'r swyddogion yn dyfod yn ddirgel atto ef.

Y cyfaddefiadau hyn a ddychrynasant Herod mor bell, ag na feiddiai yn ebrwydd eu gwneud yn gyhoeddus: ond efe a ddanfonodd yspiwyr o amgylch yn y nos, a lliw dydd, y rhai a wnaent ymofyniad manwl ynghylch yr hyn oll a wnelid ac a ddywedid. A phan ddrwg-dybid am rai eu bod yn fradwyr, hwy a roddid i farwolaeth: yn gymmaint a bod y palas yn llawn o ymosodiadau dychrynllyd ac anghyfiawn: canys pob rhai a ffugiai gyhuddion, megis ag y byddent eu hunain mewn cyflwr o elyniaeth neu gasineb yn erbyn eraill. A llawer ydoedd y rhai a gam-farnent dymmer y brenin, er anfantais i'r sawl a fyddent mewn cweryl â hwynt: celwyddau yn hawdd a gredid, a chospedigaethau a osodid yn gynt nag y codid yr enllibiau. Yr hwn nad ydoedd ond yn brin wedi cyhuddo arall, a gyhuddid ei hunan, ac a arweinid i'r dihenyddiad gyd â'r hwn yr oedd efe wedi cyhuddo arno. Canys y perygl yr oedd y brenin ynddo am ei fywyd, a barodd yr holiadau i fod yn dra byrrion. Efe hefyd a aeth ym mlaen i'r fath radd o chwerwder, fel na edrychai ar neb o'r rhai oedd heb eu cyhuddo ag wynebpryd siriol; ond yr ydoedd o dymmer dra chreulon tu ag at ei gyfeillion ei hun. Yn ganlynol fe waharddodd i lawer o honynt ddyfod i'r llys; ac wrth y rhai na allai eu cospi yn weithredol, fe lefarodd yn arw. Antipater yn y cyfamser a ddirmygodd Alexander, yn awr ag efe tan ei warthruddiad; ac a gafodd gwmpeini cadarn-grŷf o'i garennydd ynghyd, y rhai a godasant bob math o enllibiau yn ei erbyn. A'r brenin a ddygwyd i'r fath radd o ddychryn trwy'r anferth gam-achwyniadau a drwg-ddyfais hyn, fel y dychymmygai weled Alexander yn dyfod atto â chleddyf noeth yn ei law. Felly fe roddodd orchymmyn i'w ddal a'i rwymo, ac a ddechreuodd holi ei gyfeillion trwy arteithiau. Amryw o'r rhai hyn a fuont feirw tan yr arteithfa, ond ni ddatguddient ddim, ac ni lefarent yn erbyn eu cydwybodau. Ond rhai o honynt wedi eu gyrru i lefaru trwy'r boen a ddioddefasant, a ddywedodd, fod Alexander a'i frawd Aristobulus yn bradwrio yn erbyn y brenin, ac yn gwylied am gyfleusdra i'w ladd ef pan fyddai yn hela, ac yna i ffoi ymaith i Rufain. Y cyhuddiadau hyn, er eu bod o natur anghredadwy, ac yn unig wedi eu llunio oddiar y boen fawr yr oeddynt ynddo, a gredwyd gyd â pharodrwydd gan y brenin; yr hwn a feddyliodd ei fod yn beth cyssur iddo, wedi darfod rhwymo ei fab, y gallai ymddangos na wnaethai hynny yn anghyfiawn.*

## PENNOD XXV.

### *Archelaus yn gwneuthur cymmod rhwng Alexander, Pheroras, a Herod.*

MEGIS ag y canfu Alexander yn awr yn ammhosibl i berswadio ei dad am ei ddiniweidrwydd, efe a ymroddi i gyfarfod a'i flinderau pa mor llym bynnag y byddent. Felly fe gyfansoddodd bedwar o lyfrau yn erbyn ei elynion; a chyfaddefodd ei fod ef mewn bradwriaeth, ond a dystiodd gyd â'r cwbl fod y rhan fwyaf o wŷr y llys wedi cydfradwrio ag ef, ac yn bennaf Pheroras a Salome. Ië, ddarfod i Salome unwaith ddyfod atto yn y nôs, a gwneuthur iddo orwedd gyd â hi, pa un bynnag a fynnai neu beidio. Y llyfrau hynny a ddodwyd

* Hynaf. XVI. 8.

yn nwylaw Herod; ac a barasant derfysg mawr ym mysg y gwŷr mewn awdurdod. Ond yn y cyfamser hwn Archelaus a ddaeth gyd â brys i Judea, megis wedi ei ddychrynu am ei fab-ynghyfraith, a'i ferch. Ac efe a ddaeth yn gynnorthwywr prydlon, mewn modd tra phwyllog; a chyd â challineb mawr fe rwystrodd y brenin i wneud fel y bygwthiasai. Canys wedi dyfod atto, fe lefodd allan, "Pa le y mae'r adyn truenus hwn o fab-ynghyfraith i mi? Pa le y caf weled y pen hwnnw o'r eiddo ef a ddyfeisiodd lofruddio ei dad? yr hwn a rwygaf yn ddrylliau â'm dwylaw fy hun. Gwnaf yr un fath hefyd â'm merch ag sydd â'r fath ŵr ganddi. Canys er y dichon nad yw hi yn gyfrannog o'r fradwriaeth; etto trwy fod yn wraig i'r fath greadur, y mae hi wedi ei halogi. Ac ni allaf lai na rhyfeddu wrth dy amynedd di, yn erbyn pa un y lluniwyd y bradwriaeth presennol, os yw Alexander etto yn fyw. Canys megis ag y daethum gyd â'r brys mwyaf a allwn o Cappadocia, disgwyliais ei fod wedi ei roddi i farwolaeth er's hir amser: ond etto mewn trefn i wneuthur ymholiad â thi ynghylch fy merch; yr hon o barch i ti, ac i'th urddas, a ddyweddiais iddo ef yn briod. Ond yn awr, rhaid i ni gydymgynghori ymherthynas i bob un o honynt. Ac os yw dy gariad tadol mor fawr, fel na's gelli gospi dy fab, yr hwn a fradwriaethodd yn dy erbyn, newidiwn ein deheulaw, a dilynwn ein gilydd yn cyd-ddangos ein llidiowgrwydd ar yr achos hwn."

Wedi iddo ddatgan ei feddwl y modd hwn, fe gafodd Herod i ymadael â gradd o'i ddigter, er ei fod etto mewn anhwyl. Wedi hynny derbyniodd y llyfrau a 'sgrifenasai Alexander: ac fel yr oedd yn dyfod at bob pwngc o honynt, fe'u cyd-ystyriodd â Herod. Felly Archelaus a gafodd oddiyno achlysur y ddyfais a wnaethai ddefnydd o honi; ac yn raddol efe a osododd y bai ar y dynion hynny oedd a'u henwau yn y llyfrau, ac yn enwedig ar Pheroras. A phan welodd fod y brenin yn credu ddywedyd o hono ei feddwl mewn difrifwch; yntau â lefarodd, "Rhaid i ni ystyried pa un a fradwriaethir, neu beidio, yn erbyn y dyn ieuangc ei hun, gan y fath nifer o rai drygionus, ac nid efe yn dy erbyn di. Canys ni fedraf gael dim achos iddo syrthio i'r fath ddrwg amcan erchyll, tra'r ydoedd yn mwynhau manteision brenhinol eisoes; ac sydd â chanddo ddisgwyliad o fod yn un o'r rhai a lywodraethant ar dy ol di. Fy meddwl yw, oddigerth fod rhyw bersonau yn ei berswadio i'w wneuthur; a'r cyfryw bersonau ag a wnant ddefnydd drwg o'r hawsder a wyddant sydd i berswadio dynion ieuaingc. Canys trwy'r cyfryw ddynion, nid yn unig rhai ieuaingc weithiau a dwyllir, ond hen wŷr hefyd: a thrwyddynt hwy ar brydiau y dadymchwelir y teuluoedd mwyaf ardderchog mewn teyrnasoedd.

Herod a gyd-syniodd â'r hyn a ddywedodd; ac yn raddol a leihaodd ei ddigter tu ag at Alexander; ond a ydoedd yn ddiccach wrth Pheroras. Canys sylwedd pennaf y pedwar llyfr oedd Pheroras. Yr hwn yn canfod ymddygiad y brenin ar fyrr wedi cyfnewid; ac y gallai cymdeithasrwydd Archelaus wneuthur pob peth gyd ag ef, ac nad oedd ganddo un ffordd anrhydeddus i'w amddiffyn, fe ynnillodd iddo ei hun ddiogelwch trwy ei ddigywilydd-dra. Felly fe adawodd Alexander, ac a ymofynnodd am ffafr Archelaus. Yr hwn a ddywedodd iddo na fedrai efe weled pa fodd y gallai gael ei esgusodi, wedi ei ddal yr awr mewn cynnifer o feiau, yr hyn oedd yn tystio ei fradwriaeth yn erbyn y brenin; a'i fod yn achos o'r blinderau yr oedd Alexander yn awr tanynt, oddieithr iddo ymhellach adael heibio ei anonest ddichellion, a'i waith yn gwadu yr hyn a osodid i'w erbyn, gan addef gwirionedd y cyhuddiad, ac erfyn am faddeuant gan ei frawd, yr hwn oedd etto a chanddo garedigrwydd tu ag atto. Ond os byddai iddo wneuthur hynny, yr estynnai efe iddo yr holl gynnorthwy ag a allai.

A'r cynghor hwn Pheroras a gydsyniodd: a chan ddodi ei hun yn y fath wisgiad ag oedd debyccaf i gynhyrfu tosturi, fe ddaeth o'i flaen â dillad duon am dano, a dagrau yn ei lygaid; gan fwrw ei hun i lawr wrth draed Herod, a deisyf maddeuant am yr hyn a wnaethai; ac a gyfaddefodd ei fod wedi gwneuthur yn dra drygionus, a'i fod yn euog o'r hyn oll ei cyhuddasid ef o'i blegid: ac a alarodd am anhrefn ei feddyliau a'i wallgofrwydd, yr hyn a ddarfuasai ei serch ar ddynes ei ddwyn iddo. Felly wedi i Archelaus ddwyn Pheroras i gyhuddo a dwyn tystiolaeth yn ei erbyn ei hun, efe yn ol hynny a

wnaeth esgusodiad trosto, ac a ddyhuddodd lid Herod yn ei erbyn, a hyn trwy arfer rhai siamplau teuluaidd: canys wedi dioddef o hono lawer mwy o ddrygau oddiwrth frawd iddo ei hun, fe ddewisodd rwymau naturiaeth o flaen tymmer ymddialgar. O herwydd ei bod mewn teyrnas megis mewn cyrph mawrion; lle mae rhyw aelod neu gilydd â chŵydd gwastadol ynddo oddiwrth bwys neu drymder y corph: ymha achos nid yw gymmwys i dorri ymaith y fath aelod, ond ei iachau trwy ryw foddion meddygol.

Ar waith Archelaus yn dywedyd hyn, a llawer yn rhagor i'r un pwrpas, anfoddlonrwydd Herod at Pheroras a dynerodd. Etto efe a barhaodd yn ei ddigter ei hun at Alexander, ac a ddywedodd yr ysgarai ei ferch, ac y cymmerai hi ymaith oddi wrtho: a hyn nes iddo ddwyn Herod i'r dymmer honno, fel ag yn wrthwyneb i'w ymddygiad o'r blaen, efe a eiriolodd ag Archelaus tros y dyn ieuangc, am ganiattau o hono i'w ferch barhau yn ddyweddi iddo ef. Ond Archelaus a wnaeth iddo gredu yn sicr y caniattâi efe iddi fod yn briod â rhyw un arall, ac nid ag Alexander: o herwydd ei fod yn edrych arno fel peth tra manteisiol, i fod y berthynas a gyttunid arni trwy'r undeb hwnnw, a'r rhagorfreintiau oedd yn cyd-fyned ag ef, yn cael ei gadw. A phan ddywedodd y brenin y cyfrifai ei fab yn fafr fawr ganddo, os na fyddai iddo ryddhau'r briodas, yn enwedig gan ddigwydd fod plant rhyngddynt hwy eisoes, a chan fod ei wraig honno yn cael ei charu mor fawr ganddo ef: a thra'r arosai hi yn wraig iddo, byddai yn warcheidwad mawr arno, ac a'i cadwai rhag troseddu, fel y gwnaethai o'r blaen: felly pan unwaith y rhwygid hi oddi wrtho, byddai yn achos o fod iddo syrthio i anobaith: o herwydd tymherau y fath ddynion ieuaingc a nawseiddir yn fwyaf, pan goleddir hwynt â charedigrwydd cartrefol. Felly Archelaus a a gydsyniodd â'r hyn a ddymunodd Herod, ond nid heb ymddangosol anhawsdra: ac efe a ymgymmododd ei hun â'r dyn ieuangc, ac a gymmododd ei dad ag ef hefyd. Pa fodd bynnag dywedodd fod yn rhaid ei ddanfon, er pob moddion, i Rufain, i ymddiddan â Cæsar, o herwydd ei fod ef wedi ysgrifennu eisoes atto hanes cyflawn o'r holl achos hwn.

Fel hyn y rhoddwyd hamdden i ddyfais Archelaus, trwy'r hyn y gwaredwyd ei fab-ynghyfraith o'r perygl. Ond wedi i'w hymgymmodiad â'u gilydd fyned trosodd, treuliasant eu hamser yn gwledda, â chyttunol gymdeithasrwydd. Ac ar ymadawiad Archelaus ymaith, Herod a wnaeth iddo anrheg o ddeg a thrugain o dalentau, gyd â gorsedd o aur, yn osodedig o feini gwerthfawr, a rhai eunuchiaid, a gordderchwraig yr hon a elwid Pannychis. Efe hefyd a ddangosodd anrhydedd dyledus i bob un o'i gyfeillion yn ol eu dyrchafiad. Yn y cyffelyb fodd y gwnaeth holl berthynasau y brenin, trwy ei orchymmyn ef, anrhegion godigog i Archelaus. Ac felly efe a hebryngwyd yn ei ffordd gan Herod a'i wŷr ardderchog, cyn belled ag Antioch.

## PENNOD XXVI.

*Am enllibiad meibion Mariamne, gan Eurycles y Lacedæmoniad.*

YN awr, ym mhen ychydig amser wedi hyn, daeth i Judea ddyn ag oedd â rhagorach dichellion ynddo nag Archelaus; yr hwn nid yn unig a ddadymchwelodd y cymmod a wnaethid mor ddoeth ag Alexander, ond a brofodd yn achos o'i ddinystr. Efe ydoedd un o'r Lacedæmoniaid, a'i enw Eurycles. Yr ydoedd yn ddyn mor llygredig, fel ag o ddymuniad i gael arian, y dewisodd fyw tan frenin. Canys Groeg ni allai foddhau ei drachwant a'i anghymmedroldeb. Efe a anrhegodd Herod â rhoddion godidog; megis hûd a osododd, mewn trefn i gyflawni ei ddibenion, ac a'u derbyniodd yn ol drachefn ar fyrder yn llawer dyblyg. Etto ni chyfrifodd roddion noeth ond megis peth diddim, oddi eithr trochi y deyrnas mewn gwaed trwy ei bwrcasau. Yn ganlynol efe a bwysodd ar y brenin trwy weniaeth a chyfrwysdra, a thrwy'r mawl a roddai iddo ef. Canys fel y canfyddodd yn fuan ochr ddall Herod, felly fe ddywedodd ac a wnaeth bob peth i ryngu ei fodd ef, a thrwy hynny fe ddaeth yn un o'i gyfeillion pennaf. Canys y brenin ei hun, a'r rhai oll oedd o'i amgylch, ydoedd yn mawr berchi y * Spartiad hwn, ar gyfrif ei wlad.

* Y dyn ystrywgar hwn Eurycles, Lacedæmoniad, a ymddengys ei fod yr un ag y mae Plutarch yn son am dano, ag oedd bum mlynedd ar hugain o'r blaen yn gydymaith i Marc Antony, ac yn aros gyd â Herod. Oddiwrth yr hyn y gallai yn hawdd ddwyn ei hun i fewn cydnabyddiaeth â meibion Herod, Antipater, ac Alexander, fel y mae Usher, Hudson, a Spanheim yn uniawn farnu. Y rheswm o'i

Yn awr cyn gynted ag y canfu y dyn cyfrwysddrwg hwn wendidau rhan o'r teulu, a pha ymrafaelion oedd rhwng y brodyr a'u gilydd, ac o ba duedd yr oedd eu tad tu ag at bob un o honynt, efe a ddewisodd lettŷaar y cyntaf yn nhŷ Antipater; ond efe a dwyllodd Alexander â rhith o gyfeillach ag ef; ac a ffugddadleuodd ei hen gydnabyddiaeth ag Archelaus. Am ba reswm fe gafodd dderbyniad hyderus gyd ag Alexander fel ei gyfaill ffyddlon. Efe hefyd yn fuan a wnaeth ei hun yn adnabyddus i'w frawd Aristobulus. Ac wedi iddo fel hyn wneud profiad o'r amryw bersonau hyn, efe a bwysodd ar rai o honynt un ffordd, ac ar eraill ffordd arall. Ond efe a gyflogid yn bennaf gan Antipater, ac felly a fradychodd Alexander: a hyn trwy waradwyddo Antipater, o herwydd tra'r oedd efe yn fab hynaf, iddo edrych heibio i ddichellion y rhai oedd yn sefyll yn ffordd ei ddisgwyliadau: a thrwy waradwyddo Alexander, oblegid iddo ef, wedi ei eni o frenhines, a'i briodi â merch i frenin, adael i un a anesid o ddynes wael osod hawl i'r llywodraeth; a hyn tra'r oedd ganddo Archelaus i'w gynnorthwyo yn y modd helaethaf. Ac ni feddylid fod ei gyngor yn amgen nag yn tarddu o ffyddlondeb gan y gwr ieuangc, o herwydd cymmeryd arno fod yn gyfeillgar ag Archelaus. Ar ba gyfrif yr ydoedd ddarfod i Alexander alaru wrtho o herwydd ymddygiad Antipater tu ag atto, heb gadw yn guddiedig ddim oddiwrtho: ac a ddywedodd nad oedd yn ddim rhyfeddod os byddai i Herod, wedi lladd eu mam, eu difuddio hwy o'i theyrnas. Ar hyn Eurycles a gymmerodd arno dosturio wrth ei gyflwr, a chyd-ofidio ag ef. Efe hefyd trwy'r fagl a osododd iddo, a gafodd Aristobulus i ddywedyd yr un pethau. Fel hyn y denodd y naill a'r llall o'r brodyr i wneuthur achwyniadau ar eu tad: ac yna fe aeth at Antipater, gan ddwyn yr holl ddirgelion hyn. Chwanegodd hefyd chwedl anwir o'r eiddo ei hun, fel pe gosodasai'r brodyr fradwriaeth i'w erbyn ef, a dyfod o honynt yn agos ar ei warthaf gyd â'u cleddyfau noethion.

Am yr hyspysiad hwn fe dderbyniodd swm mawr oarian: ac ar y cyfrif hwnnw fe ganmolodd Antipater yn fwy na'i dad; ac o'r diwedd fe gymmerodd arno y gwaith o ddwyn Alexander ac Aristobulus i'w bedd, ac a'u cyhuddodd o flaen eu tad. Felly fe ddaeth at Herod, ac a ddywedodd wrtho yr achubai ei fywyd, fel taledigaeth am y ffafrion a dderbyniasai ganddo, ac mewn ffordd o ad-daliad am ei roesaw o'r blaen. Oblegid fod cleddyf wedi ei hogi er's hir amser, a deheulaw Alexander wedi ei hestyn allan i'w erbyn. Ond darfod iddo ef osod rhwystr ar ei ffordd, a rhagflaenu ei gyflymdra, tra'r oedd yn cymmeryd arno ei gynnorthwyo yn ei amcan. Yna fe sicrhaodd ddarfod i Alexander ddywedyd nad oedd Herod yn boddloni ar lywodraethu teyrnas a berthynai i eraill, a gwneuthur difrod ar wlad o eiddo ei mam wedi darfod iddo ei lladd hi: ond heblaw hyn i gyd fe ddygodd i mewn atto un annilys i lywodraethu yn ei le; ac a fwriadodd roddi teyrnas eu hynafiaid i'r dyn drygfawr hwnnw Antipater: y byddai iddo ef yn awr lonyddu ysprydion Hyrcanus a Mariamne, trwy gymmeryd dial arno ef; oblegid nad oedd gymmwys iddo gymmeryd y llywodraeth oddiwrth y fath dad, heb dywalltiad gwaed: fod llawer o bethau yn digwydd yn feunyddiol ag oedd yn ei annog ef i hyn: yn gymmaint ag na's gallai efe ddywedyd dim heb ei fod yn achlysur i godi enllib i'w erbyn: oblegid pan grybwyllid am ragorfraint genedigaeth o deulu urddasol, ïe, mewn achosion eraill, efe a ammherchid yn anghyfiawn: pan y dywedai ei dad nad oedd un o honynt o deulu ardderchog ond Alexander: a bod ei dad yn anenwog o ddiffyg y fath ardderchowgrwydd. Pan fyddent ryw bryd ar helwriaeth, ac os dywedai efe ryw air, cymmerid hynny yn dramgwydd; neu os canmolai neb, goganid ef am hynny. Eu bod hwy bob amser yn cael eu tad yn llym annhrugarog, ac heb ddim serch naturiol ganddo ond at Antipater. "Ar y cyfrif yma," ebe Eurycles, "os na lwydda ei fradwriaeth, bydd yn dra boddlon i farw: ond os lladdai efe ei dad, byddai ganddo gyfleustra digonol i'w achub ei hun. Yn y lle cyntaf yr oedd ganddo Archelaus, ei dad-ynghyfraith, at yr hwn y gallai yn hawdd ddiangc: ac yn y lle nesaf yr oedd ganddo Cæsar, yr hwn oedd yn gwybod am

fod yn un o'r Spartiaid a barodd iddo fod mor gymmeradwy gan yr Iuddewon, fel y gwelwn yma ei fod, sy'n amlwg oddiwrth goffadwriaethau yr Iuddewon a'r Spartiaid, yn addef eu bod hwy â pherthynas ganddynt i'r Iuddewon, yn tarddu oddiwrth eu hynafiaethwr cyffredinol Abraham, Patriarch cyntaf y genedl Iuddewig, Hynaf. XII, a'r 1 Mac. xii. 7.

ddull Herod hyd y dydd hwn. Ac ni ymddangosai y pryd hynny o'i flaen gyd â'r braw a arferai fod ynddo, pan fyddai ei dad yno i'w ddychrynu ef: ac na ddygai ym mlaen yn unig y pryd hwnnw y cyhuddiadau perthynol iddo ef ei hun; ond a fyddai iddo yn y lle cyntaf sefyll yn bendant ar amgylchiad cyfyng y genedl, a'r modd yr oeddynt yn cael eu trethu hyd at farw: ac ym mha ffordd o ormodedd ac ymarferion drygionus yr oedd y trysor hwnnw yn cael ei wario, a gawsid trwy dywallt gwaed: pa fath ddynion yw y rhai a feddiannant ein cyfoeth, ac i bwy y perthynai y dinasoedd hynny ag y mae'n dangos ffafr iddynt: y parai hefyd i ymofyniad gael ei wneuthur pa beth a ddaethai o'i daid Hyrcanus, a'i fam Mariamne; a pharai yn unig gyhoeddi y drygau mawrion oedd yn y deyrnas; ar ba gyfrif ni chyfrifid ef yn dad-leiddiad."

Wedi i Eurycles wneud yr araith ddaroganol hon, rhoddodd ganmoliaeth mawr i Antipater, fel yr unig blentyn oedd a chanddo gariad at ei dad; ac ar y cyfrif hwnnw ydoedd yn rhwystr i fradwriaethau rhai eraill yn ei erbyn. Ar hyn y brenin, yr hwn yn brin a attaliasai ei ddigter ar wnenthuriad cyhuddiadau blaenorol, a gyffröwyd yn awr i radd aufeddyginiaethol. Ar ba amser Antipater a gymmerodd achlysur i ddanfon i mewn bersonau eraill at ei dad, i gyhuddo ei frodyr; ac i ddywedyd ddarfod iddynt ymddiddan yn ddirgel â Jucundus a Tyrannus, y rhai unwaith a fuasent yn geidwaid meirch y brenin; ond am ryw droseddiad a droisid allan o'r swydd anrhydeddus honno. Herod ydoedd mewn llid mawr ar yr hysbysiad hwn; ac yn fuan a orchymmynodd i'r gwŷr hyn gael eu harteithio. Etto ni chyfaddefasant hwy ddim o'r pethau a hyspysasid i'r brenin. Ond rhyw lythyr a gafwyd, fel wedi ei ysgrifenu gan Alexander, at lywodraethwr castell, i ddymuno arno ei dderbyn ef ac Aristobulus i mewn i'r castell, wedi y darfyddai iddo ladd ei dad: a rhoddi iddynt arfau, a pha gynnorthwy bynnag a allai ar yr achos hwnnw. Alexander a ddywedodd mai ffug-lythyr ydoedd hwn o'r eiddo Diophantus, ysgrifenydd y brenin; gwr hŷ a chyfrwys i fedru ffugio llaw unrhyw ddyn: ac wedi iddo ddynwared nifer mawr o ddwylo, fe roddwyd o'r diwedd i farwolaeth o'i herwydd. Herod hefyd a orchymmynodd i lywodraethwr y castell gael ei arteithio; ond ni chafodd allan o hono ef ddim ag a grybwyllid yn y cyhuddiad.*

Pa fodd bynnag er i Herod gael y profiadau yn rhy egwan, fe roddodd orchymmyn i ddodi ei feibion tan gadwraeth; canys hyd yn awr yr oedd wedi gadael iddynt eu rhyddid. Galwodd hefyd am y dyn hwnnw ag oedd yn bla i'w deulu, ac yn ddyfeisiwr yr holl gyhuddiad anwireddus hwn, Eurycles, ei achubwr a'i gymmwynaswr, fel y tybiai ei fod ef; ac a roddodd iddo yn wobr ddeg a deugain o dalentau. Ar yr hyn y rhagflaenodd unrhyw gyfrif manwl a ellid ei gael o'r hyn a wnaethai, trwy fyned o hono ymaith yn uniongyrch i Cappadocia, ac yno y cafodd arian gan Archelaus; trwy fod ganddo y digywilydd-dra o gymmeryd arno, ddarfod iddo wneuthur cymmod rhwng Herod ac Alexander. Oddi yno fe aeth trosodd i wlad Groeg, ac a wnaeth ddefnydd o'r hyn a gawsai yn y ffordd anwireddus hon i'r cyfryw ddrwg ddibenion. Yn ganlynol efe a gyhuddwyd ddwywaith o flaen Cæsar, ddarfod iddo lenwi Achaia ag ymrysoniadau, ac yspeilio o hono ei dinasoedd; ac felly fe'i danfonwyd i alltudiaeth. A'r modd hwn y cospwyd ef, am y gweithredoedd drygionus a fuasai yn euog o honynt, ymherthynas i Aristobulus ac Alexander.

Ond fe dal yn awr ddodi Euaratus o Cos, mewn gwrthwynebiad i'r Spartiad hwn. Canys fel ag yr oedd efe yn un o gymdeithion agosaf Alexander, ac a ddaethai atto yn ei ymdaith ynghylch yr un pryd ac Eurycles; felly y brenin a osododd y cwestiwn atto ef, pa un a ydoedd y pethau hynny o ba rai y cyhuddid Alexander yn wirionedd? Efe a sicrhaodd iddo trwy lŵ, na chlywsai efe erioed y fath beth gan y dyn ieuangc. Etto ni thycciodd y dystiolaeth yma ddim tu ag at glirio y creaduriaid truenus yma. Canys Herod ydoedd â thuedd yn unig ynddo i wrando ar yr hyn a wnelid yn eu herbyn: a phawb a fyddai fwyaf cyttunol â'i feddwl a gredai eu bod hwy yn euog, ac a ddangosai eu dig tu ag attynt.

## PENNOD XXVII.

*Am gyhuddiad a chondemniad meibion Herod yn Berytus, o ba le yr anfonwyd hwynt i Sebaste, ac eu llindagwyd.*

* Hynaf. XVI. 10.

SALOME a gyffrôdd greulondeb Herod yn erbyn ei feibion: canys Aristobulus oedd yn ewyllysio ei dwyn hi, yr hon ydoedd ei famynghyfraith a'i fodryb, i'r un gyffelyb beryglon a hwy eu hunain. Felly fe ddanfonodd atti i ofalu tros ei diogelwch ei hun: ac a ddywedodd fod y brenin yn parottoi i'w rhoddi i farwolaeth, o achos cyhuddiad a wnaethid yn ei herbyn; megis pan chwennychasai gynt gael priodi â Silleus, yr Arabiad, y darfu iddi amlygu dirgelion y brenin iddo, yr hwn ydoedd ei elyn: a thyma y peth a fu fel yn ystorom ddiweddaf, ag a suddodd y gwŷr ieuaingc yn gyfan-gwbl, pan yr oeddynt mewn mawr berygl o'r blaen. Canys Salome a ddaeth gan redeg at y brenin, ac a hyspysodd iddo y fath rybudd a roddasid iddo. Wedi hyn ni allodd oddef dim ymhellach; ond fe orchymmynodd i bob un o'r dynion ieuaingc gael eu rhwymo, a'u cadw yn wahanol y naill oddiwrth y llall. Efe hefyd a ddanfonodd Volumnius, cad-flaenor ei fyddin, at Cæsar yn ddioed, a'i gyfaill Olympus gyd ag ef, yr hwn a ddug yr hyspysiad yno yn ysgrifenedig. Yn awr, wedi i'r rhai hyn fordwyo a chyrhaeddyd Rhufain, a thraddodi llythyrau'r brenin, Cæsar a dristaodd o herwydd cyflwr y dynion ieuaingc. Etto ni thybiodd y dylai gymmeryd yr awdurdod oddiwrth y tad i roddi barn euog ar ei feibion. Felly fe 'sgrifennodd yn ol atto, gan ordeinio iddo'r awdurdod ar ei feibion: ond a gynghorodd, gyd â'r cwbl, y gwnai yn dda wneuthur ymholiad am y fradwriaeth ymhellach, mewn llys-farnol gyhoeddus; ac i gymmeryd ei garennydd ei hun yn farnwyr, ynghyd a rhaglawiaid y taleithiau: ac os caed y meibion hyn yn euog, a'r fod iddynt gael eu dodi i farwolaeth: ond os ymddangosai nad oedd fwriad pellach ganddynt na diangc ymaith oddiwrtho, a'r fod iddo gymmedroli ei gospedigaeth.

Herod a gydsyniodd â'r cyfarwyddiadau hyn, ac a ddaeth i Berytus, lle'r ordeiniasai Cæsar i'r llŷs i ymgynnull, ac a gafodd y beirniaid ynghyd. Y rhaglawiaid a eisteddasant yn uwchaf, fel yr appwyntiasid yn llythyrau Cæsar, y rhai oeddynt Saturninus, a Pedanius, ynghyd â'u goruchwylwyr. Gyd â'r rhai hyn yr oedd y goruchwyliwr Volumnius hefyd. Yn nesaf attynt hwy yr eisteddai y gwŷr o garennydd y brenin, gyd â Salome a Pheroras. Yn eu hol hwynt yr eisteddai gwŷr pennaf holl Syria, oddigerth Archelaus: o herwydd yr oedd gan Herod ddrwg-feddyliau am dano ef, o herwydd ei fod yn dad-ynghyfraith Alexander. Etto ni ddygodd ei feibion i lŷs cyhoeddus; a hyn ydoedd o gyfrwysdra; canys fe wyddai yn dda ddigon, pe buasent ond ymddangos yn unig, y tosturid wrthynt. Ac os gyd â hynny y caniatteid iddynt lefaru, Alexander yn hawdd a attebai yr hyn y cyhuddid hwynt o'i blegid. Ond yr oeddynt mewn cadwraeth yn Platane, pentref perthynol i'r Sidoniaid.*

Felly y brenin a gyfododd i fynu, ac a duchanodd yn erbyn ei feibion fel pe buasent yn bresennol. Ac am y rhan hynny o'r cyhuddiad a berthynai i'w bradwriaeth yn ei erbyn, nid oedd yn ei osod allan ond yn egwan, am ei fod yn ymddifad o brofiadau: ond efe a osododd allan o flaen y barnwyr, y gwaradwyddiadau, gwawdiaith, ymddygiad anweddaidd, a deng mil o'r fath droseddiadau i'w herbyn, y rhai oeddynt drymmach na marwolaeth ei hun. A phan nad oedd neb i'w wrthwynebu ef, fe'u hannogodd i dosturio wrth ei sefyllfa; fel pe buasai wedi ei gondemnio ei hun; yn awr wedi cael buddugoliaeth ar ei feibion: felly fe ofynnodd am ddedryd pob un; yr hon ddedryd a roddwyd yn gyntaf gan Saturninus, ac ydoedd hyn; Ei fod ef yn euog-farnu y gwŷr ieuaingc, ond nid i farwolaeth. Oblegid nad oedd weddus iddo ef yr hwn ydoedd â thri mab iddo yn awr yn bresennol, i roddi ei gyd-syniad i ddifetha meibion un arall. Y ddau oruchwyliwr hefyd a roddasant yr un farn. Rhai eraill hefyd ag oedd yno a ddilynasant eu siampl hwynt. Ond Volumnius a ddechreuodd roddi dedryd ar yr ochr fwyaf athrist; a'r rhai oll a lefarasant ar ei ol ef a gondemniasant y gwŷr ieuangc i farw: rhai oddi ar weniaeth, ac eraill o gasineb at Herod; ond neb o ddig at eu troseddiadau hwynt. Ac yn awr yr oedd holl Syria a Judea mewn disgwyliad mawr, yn edrych am ddiwedd yr erchyll-waith hwn. Etto ni feddyliodd neb y byddai Herod mor greulon a lladd ei blant. Pa fodd bynnag fe'u cymmerodd ymaith i Tyre, ac oddi yno fe fordwyodd i Cesarea, gan fyfyrio ag ef ei hun pa fath farwolaeth a barai i'r gwŷr ieuaingc ei dioddef.

* Hynaf. XVI. 11.

Yn awr yr oedd rhyw hen filwr perthynol i'r brenin, enw pa un oedd Tero, yr hwn oedd ganddo fab tra chydnabyddus ac yn gyfeillgar ag Alexander; a'r hwn oedd yn neillduol hoff ganddo y gŵyr ieuaingc.

Y milwr hwn ydoedd agos a gwallgofi gan y digter mawr yr oedd ynddo oblegid yr hyn a wnaethid. Ac ar y cyntaf fe lefodd yn uchel allan, wrth fyned o amgylch, fod barn yn cael ei sathru, gwirionedd yn methu, a naturiaeth ei gwaradwyddo, a bod bywyd dyn yn llawn anwiredd; a phob peth arall a ddychymmygai tymmer ddigofus i ddyn nad oedd am arbed ei fywyd. Ac o'r diwedd fe anturiodd fyned at y brenin, ac a ddywedodd, "Mewn gwirionedd yr wyf yn dy olygu yn ddyn tra thruenus, pan wyt yn gwrando ar chwedlau dynion drygionus yn erbyn rhai a ddylai fod yn fwyaf anwyl i ti. Gan ddarfod i ti yn fynych benderfynu y dylid rhoddi Pheroras a Salome i farwolaeth; ac etto a ydwyt yn eu credu hwynt yn erbyn dy feibion: a chan dorri ymaith eu hawl hwy i'r dilyniad, yr ydwyt yn gadael y cwbl i Antipater; ac wrth hynny yn dewis cymmeryd i ti y fath frenin ag a fyddo yn hollol dan eu hawdurdod hwynt. Pa fodd bynnag ystyria, oni bydd i farwolaeth brodyr Antipater beri ei gasau ef gan y milwyr: canys nid oes neb nad ydynt yn tosturio wrth y gŵyr ieuaingc; a llawer o'r cadbeniaid sy'n dangos eu hanfoddlonrwydd o'i blegid yn gyhoeddus." Wedi iddo ddywedyd hyn, fe enwodd y rhai ag oedd ganddynt y fath ddigter. Ond y brenin a orchymmynodd i'r dynion hynny, gyd â Tero ei hun, a'i fab, i gael eu cymmeryd i fynu yn ddi-oed.

Ar y pryd hwn yr oedd rhyw eilliwr, a'i enw Trypho, a neidiodd allan o blith y bobl mewn math o wallgofrwydd, gan gyhuddo ei hun a dywedyd, "Y Tero hwn a ymdrechodd i'm perswadio innen hefyd i dorri gwythi dy waed â'm hellyn wrth dy daccluso; gan addaw y rhoddai Alexander i mi anrhegion mawr am wneuthur hynny." Pan glywodd Herod hyn, fe brofodd Tero a'i fab, ynghyd â'r eilliwr, trwy eu harteithio. Ond fel yr oedd y lleill yn gwadu'r cyhuddiadau; ac yntau heb ddywedyd dim ymhellach, Herod a roddes orchymmyn i arteithio Tero yn llymmach. Ond ei fab o dosturi tu ag at ei dad, a addawodd ddatguddio y cyfan i'r brenin, os caniattai na arteithid ei dad ddim ymhellach. Pan gyttunodd y brenin i hyn, yntau a ddywedodd, fod ei dad wedi ei berswadio gan Alexander, a chanddo amcan i'w ladd ef. Yn awr, rhai a ddywedasant mai ffug-achwyniad ydoedd hwn, a wnaethai mewn trefn i ryddhau ei dad o'r arteithfa: ac eraill a ddywedasant mai gwir ydoedd.

Yn awr Herod a gyhuddodd y cadbeniaid a Tero mewn tyrfa o bobl, ac a gynhullodd y bobl ynghyd yn un corph i'w herbyn. Ac yn ganlynol fe'u rhoddwyd yno i farwolaeth, ynghyd â Trypho yr eilliwr: hwy a laddwyd gan ddarnau o goed, a cherrig a luchid attynt. Efe hefyd a ddanfonodd ei feibion i Sebaste, dinas heb fod yn neppell o Cæsarea, gan orchymmyn eu mygu, neu eu llindagu hwynt. Ac fel y cyflawnwyd yr hyn a orchymmynodd yn ddioed; felly fe archodd i'w cyrph gael eu dwyn i amddiffynfa Alexandrium, i'w claddu gyd ag Alexander, eu taid o du eu mam. A dyma a fu ddiwedd Alexander ac Aristobulus.

## PENNOD XXVIII.

*Casineb pawb tu ag at Antipater; y brenin yn dyweddïo meibion y rhai a laddwyd â'i garennydd; ond Antipater yn peri iddo eu cyfnewid am ferched eraill. Am briodasau Herod, a'i blant.*

OND casineb tu ag at Antipater a syrthiodd ar yr holl genedl, er bod ganddo yn awr hawl neu ditl di-wrthddadl i'r dilyniad yn y llywodraeth, o herwydd gwybod o honynt mai efe oedd yr un a ddyfeisiodd yr holl enllibiau yn erbyn ei frodyr. Pa fodd bynnag efe a ddechreuodd fod mewn dychryn mawr, fel ag yr oedd yn canfod hiliogaeth y rhai a laddwyd yn tyfu i fynu. Canys Alexander oedd ag iddo ddau o feibion o Glaphyra, Tigranes, ac Alexander. A chan Aristobulus yr oedd Herod ac Agrippa, ac Aristobulus, ei feibion; gyd â Herodias a Mariamne ei ferched, a'r cwbl o Bernice, merch Salome. Am Glaphyra, Herod cyn gynted ag y lladdodd Alexander, a'i danfonodd yn ol, â'i gwaddol neu gynhysgaeth gyd â hi i Cappadocia. Fe briododd Bernice, merch Aristobulus, ag ewythr Antipater o du ei fam. Ac Antipater, mewn trefn i'w chymmodi ag ef, wedi bod amrafael rhyng-

ddynt, ydoedd yr un a ddyfeisiodd y cymhariad hwn. Dygodd ei hun hefyd i ffafr Pheroras, ac i ffafr cymdeithion Cæsar, trwy anrhegion, a ffyrdd hyblygaidd eraill; gan ddanfon nid ychydig symiau o arian i Rufain. Saturninus hefyd, a'i gyfeillion yn Syria, a ddiwallwyd yn helaeth â'r anrhegion a wnaeth iddynt. Etto pa fwyaf a roddai, mwyaf oll y casheid ef; gan nad oedd yn gwneud yr anrhegion o haelioni, ond gan wario ei arian o herwydd ofn. Yn ganlynol fe ddigwyddodd, nad oedd y derbynwyr yn dwyn mwy o ewyllys da iddo nag o'r blaen: ond bod y rhai na dderbyniasant ddim ganddo yn chwerwach gelynion iddo. Pa fodd bynnag, fe gyfrannodd arian fwy-fwy mewn dull afradlon beunydd; trwy ddal sulw fod y brenin, yn wrthwyneb i'w ddisgwyliad, yn gofalu am y plant ymddifaid; ac yn amlygu yr un pryd ei edifeirwch am ladd eu tadau, wrth ei dosturi tu ag at y rhai a darddai oddi wrthynt.

Yn ganlynol, Herod a gafodd ynghyd ei garennydd a'i gyfeillion, ac a osododd y plant ger eu bron: a chyd â'i lygaid yn llawn dagrau, dywedodd fel hyn wrthynt: "Tynghedfen annedwydd ydoedd y peth a gymmerodd dadau y plant hyn ymaith oddi wrthyf; pa ryw blant a draddodir i'm gofal gan y tosturi naturiol hwnnw ag y mae eu cyflwr ymddifad yn ei ofyn. Pa fodd bynnag, mi ymdrechaf, er bod o honof yn dad anhappus, i ymddangos yn well taid; ac i adael y plant hyn i ofal y fath olygwyr ar fy ol, ag sydd anwylaf gennyf. Yr wyf gan hynny yn dyweddïo dy ferch, Pheroras, â'r hynaf o'r brodyr hyn, o blant Alexander; fel y byddech di yn rhwym i edrych ar eu hol. Yr wyf hefyd yn dyweddio â'th fab di, Antipater, ferch Aristobulus. Bydd di, gan hynny, yn dad i'r amddifad honno; a'm mab Herod a gaiff ei chwaer hi; taid yr hon, o du ei mam, ydoedd archoffeiriad. A bydded pawb a'm carant o'r un feddyliau â thueddrwydd a mi fy hun yn hyn; pa rai ni fydd i neb a'm parchant eu diddymmu. Ac mi erfyniaf ar Dduw fod iddo ef gyssylltu y plant yma ynghyd mewn priodas, er mantais i'm teyrnas a'm hiliogaeth; ac ar fod iddo edrych i lawr â golwg mwy boddlongar arnynt hwy, nag yr edrychodd ar eu tadau o'r blaen.

Tra'r oedd yn llefaru'r geiriau hyn efe a ŵylodd, ac a gyssylltodd ddwylaw y plant. Ar ol yr hyn y cofleidiodd hwynt yn y modd mwyaf serchog; ac a ollyngodd ymaith y dyrfa. Wedi darfod hyn yr oedd Antipater mewn cynnwrf mawr, ac a ŵylodd yn gyhoeddus am yr hyn a wnaethid. Canys fe feddyliodd fod y mawredd hwn a osodasid ar y rhai amddifaid er ei ddinystr ef, ïe, yn amser einioes ei dad: ac y rhedai'r antur arall o golli'r llywodraeth, os byddai gan feibion Alexander Archelaus y brenin, a Pheroras y tetrarch, i'w hamddiffyn. Efe hefyd a ystyriodd y modd y casheid ef ei hun gan y genhedlaeth; ac fel yr oedd y bobl yn tosturio wrth yr amddifaid hyn; pa serch mawr oedd yr Iuddewon yn ei ddwyn at ei frodyr hynny pan oeddynt yn fyw; a a chystal oedd ganddynt goffa am danynt yn awr wedi eu difetha trwyddo ef. Felly fe ymroddodd trwy bob ffordd ag oedd bossibl i ddiddymmu y dyweddïon hyn.

Yn awr yr oedd yn ofni myned mewn ffordd ddichellgar ynghylch y matter hwn at ei dad; yr hwn oedd yn anhawdd ei foddloni, ac a gythruddid yn fuan ar yr amheuaeth lleiaf. Felly fe ymroddodd i fyned atto yn uniongyrch, ac a ddeisyfodd arno o flaen ei wyneb nad ymddifadai ef o'r derchafiad a wel'sai yn dda ei gyfrannu iddo: ac na fyddai ganddo yr enw noeth o frenin, pan fyddai'r awdurdod yn nwylaw rhai eraill: oblegid na allai efe fyth sicrhau'r llywodraeth, os byddai gan fab Alexander ei daid Archelaus, a Pheroras yn ymgeleddwyr iddo; ac efe a erfyniodd yn daer arno, tra'r oedd cynnifer o'r teulu brenhinol yn fyw, i newid y priodasau a fwriadodd. Yn awr yr oedd i'r brenin * naw o wragedd, a phlant i saith o honynt. Antipater ei hun a anesid o Doris; a † Herod o Mariamne, merch yr archoffeiriad. Antipas hefyd ac Archelaus, ydoedd o Malthace, y Samariad; fel ag yr oedd ei ferch Olympias, yr hon a briodasid gan fab ei frawd ‡ Joseph.

* Y Deon Aldrich a ddei sulw yma, fod y naw gwragedd hyn i Herod yn fyw yr un amser. A phe byddai i'r un ganmoladwy honno Mariamne, ag oedd yn awr yn farw, gael ei chyfrif, buasai'r gwragedd hyn oll yn ddeg. Etto mae'n beth hynod nad oedd iddo ychwaneg na phymtheg o blant o honynt oll.

† Herod Philip.

‡ I ragflaenu camsyniadau, ni fydd yn beth allan o'i le, gyd â'r Deon Aldrich, i wahaniaethu rhwng y Josephiaid yn hanes Herod. 1. Joseph, ewythr Herod, ac ail ŵr ei chwaer Salome, a laddwyd gan Herod o herwydd Mariamne. 2. Joseph, trysorwr Herod, a laddwyd ar yr un cyfrif. 3. Joseph, brawd Herod, a laddwyd mewn brwydr yn erbyn Antigonus. 4. Joseph, nai Herod, gwr Olympias, a grybwyllir yn y lle hwn.

Herod a Philip a gawsai o Cleopatra o Jerusalem; ac o Palas, Phasaelus. Yr oedd iddo hefyd ddwy o ferched eraill, Roxana a Salome; un o honynt o Phedra, a'r llall o Elpis. Yr ydoedd iddo hefyd ddwy wraig heb ddim plant iddynt: un o honynt oedd ei gyfnither, a'r llall yn nith iddo. Ac heblaw y rhai hyn yr oedd iddo ddwy ferch o chwiorydd Alexander ac Aristobulus, o Mariamne. Wrth fod, gan hynny, y teulu brenhinol mor lliosog, Antipater a ddeisyfodd arno newid y priodasau a fwriadodd.

Pan ganfyddodd y brenin o ba duedd yr oedd Antipater tu ag at yr ymddifaid hyn, yr ydoedd yn dra digllon; ac amheuaeth a ddaeth i'w feddwl ymherthynas i'r meibion a ddodasai i farwolaeth; pa un a ydoedd hynny wedi ei ddwyn o amgylch trwy chwedlau gan o'r eiddo ef. Felly ar y pryd hwnnw fe wnaeth hir ac anfoddlonus attebiad i Antipater, ac a barodd iddo fyned ymaith. Etto efe yn ol hynny a berswadiwyd trwy gyfrwystra a gweniaeth i newid y priodasau. Fe briododd ferch Aristobulus ag ef; a'i fab â merch Pheroras.

Yn awr gall un ddysgu gwybod oddiwrth y siamply ma, pa faint oedd y'ngallu yr Antipater wenhieithus hwn ei wneuthur; yr hyn ni allai Salome ei hun yn y cyffelyb amgylchiad ei wneud. Canys wedi iddi hi, ag ydoedd yn chwaer iddo, a'r hon trwy Julia, gwraig Cæsar, a daer erfyniasai am gennad i'w phriodi â Sylleus, yr Arabiad, Herod a dyngodd y cyfrifai hi yn elynes iddo, oni roddai heibio'r amcan hwnnw. Efe hefyd a wnaeth iddi, yn erbyn ei hewyllys ei hun, briodi ag Alexas, cyfaill iddo ef; a pharodd fod i un o'i merched briodi mab Alexas; a'r llall ag ewythr Antipater o du ei fam. Ac am y merched a gawsai'r brenin o Mariamne, un a briodwyd ag Antipater, mab ei chwaer; a'r llall â mab ei frawd Phasaelus.

## PENNOD XXIX.

*Antipater yn myned yn annioddefol yn ei ymddygiad, ac yn cael ei anfon i Rufain, gan ddwyn ewyllys diweddaf Herod gyd ag ef. Pheroras yn gadael ei frawd fel y gallai beidio ymadael a'i wraig. Efe yn marw gartref.*

WEDI i Antipater dorri ymaith obaith y rhai amddifaid, a sefydlu y fath berthynas ag a fyddai fwyaf er ei fantais ei hun, aeth ym mlaen gyd â chyflymdra, trwy fod ganddo ddisgwyliad sicr am y deyrnas: ac fel yr oedd ganddo yn awr gynnorthwy chwanegol i'w ddrygioni, fe ddaeth yn annioddefol. Canys ag efe heb allu gochelyd casineb yr holl bobl, fe sylfaenodd ei ddiogelwch ar y dychryn a barasai iddynt. Pheroras hefyd a'i cynnorthwyodd yn ei amcanion; gan ei olygu ef megis wedi ei sefydlu eisoes yn y deyrnas. Yr ydoedd hefyd nifer o wragedd yn y llŷs, a gyfodasant derfysgoedd newyddion. Canys gwraig Pheroras, ynghyd â'i mam a'i chwaer, a mam Antipater, a aethant yn dra hyfion yn y palas. Yr ydoedd hi* hefyd mor drahaus a digio † dwy o ferched y brenin: am ba achos y cashawyd hi i raddau mawr gan y brenin ei hun. Etto er cashau y merched hyn ganddo ef, yr oeddynt hwy yn arglwyddiaethu ar eraill. Nid oedd ond Salome yn unig a wrthwynebodd eu cyngrair, ac a hyspysodd i'r brenin am eu cyfarfodydd, megis pe na byddent yn fanteisiol i'w achosion. A phan wybu y gwragedd hyn y fath enllibiau a godasai yn eu herbyn, a pha gymmaint a anfoddhasai ar Herod gadawsant heibio eu cyfarfodydd cyhoeddus, ac ymweliadau cyfeillgar â'u gilydd. Ië, yn y gwrthwyneb, cymmerasant arnynt ymrafaelio y naill â'r llall, pan fyddai'r brenin o fewn clyw. Y cyfryw anghyttundeb a wnaeth Antipater ddefnydd o hono: ac wedi i bethau ddyfod yn gyhoeddus, fe wrthwynebodd Pheroras. Ond etto'r oedd ganddynt eu cynhulliad dirgelaidd, a'u cyfarfodydd llawen yn y nos. Ac ni ddarfu sulw eraill wneud ychwaneg na chadarnhau eu cyttundeb. Pa fodd bynnag fe wyddai Salome y cwbl; ac a'i mynegodd i Herod.

Ond yr oedd efe wedi ei ennyn o ddigofaint tu ag attynt, ac yn enwedig at wraig Pheroras: canys Salome a achwynasai arni hi yn bennaf. Felly fe alwodd dyrfa o'i gyfeillion a'i garennydd ynghyd, ac yno a gyhuddodd y wraig hon o amryw bethau, ac yn enwedig am y tramgwyddiadau a gynhygiodd i'w ferched: a darfod iddi gynnysgaeddu y Phariseaid ag arian, mewn ffordd o wobr am yr hyn a wnaethent i'w

* Gwraig Pheroras. † Y merched yma i Herod, a ddigiwyd gan wraig Pheroras, oeddynt Salome a Roxana, merched ieuaingc a anesid iddo o'i ddwy wraig, Elpide a Phedra.

erbyn; ac a ynnillasent ei frawd i fod yn elyn iddo, trwy fwriadu ei dwyllo â serch-ddiod wenwynllyd. O'r diwedd fe droes ei ymadrodd at Pheroras; ac a ddywedodd ei fod yn rhoddi ei ddewisiad iddo o'r ddau beth hyn; pa un a fyddai iddo gadw i mewn ag ef, ei frawd, neu â'i wraig? A phan ddywedodd Pheroras, y byddai efe * farw yn hytrach nag ymadael a'i wraig; Herod heb wybod pa beth i'w wneuthur ymhellach yn yr achos hwnnw, a drodd ei ymadrodd at Antipater, ac a archodd na fyddai ganddo ddim cymmundeb â gwraig Pheroras, nac â Pheroras ei hun, nac â neb perthynol iddi hi. Yn awr, er na throseddodd Antipater y gorchymmyn hwnnw yn gyhoeddus, etto'r oedd efe yn ddirgel yn dyfod i mewn i'w cyfarfodydd nosawl. Ac am ei fod yn ofni rhag i Salome sylwi ar yr hyn yr oedd yn ei wneuthur, cafodd ganiattâd, trwy ei gyfeillion o Italiaid, i fyned i fyw yn Rhufain. Canys pan ysgrifenasant fod yn addas i Antipater gael ei ddanfon at Cæsar tros ryw hyd o amser, ni wnaeth Herod ddim oed yn ei ddanfon ef, gyd â nifer o gymdeithion ardderchog, a llawer iawn o arian; gan roddi iddo ei ewyllys ddiweddaf i'w ddwyn yno gyd ag ef, yn yr hwn yr oedd y deyrnas wedi ei gadael i Antipater: ac yn yr hwn yr enwasid Herod i lywodraethu ar ol Antipater; yr Herod hwn yr wyf yn ei feddwl ag oedd yn fab Mariamne, merch yr archoffeiriad.

Sylleus hefyd yr Arabiad a fordwyodd i Rufain, heb wneuthur sulw o'r gorchymmyn a roesid iddo gynt gan Cæsar: a hyn mewn trefn i wrthwynebu Antipater â'i holl egni, ymherthynas i gwyn-cyfraith a fuasai rhwng Nicolaus ag ef o'r blaen. Y Sylleus hwn oedd ag ymryson mawr rhyngddo ag Aretas, ei frenin ei hun. Canys efe a laddasai amryw o gyfeillion y brenin; ac yn enwedig Sohemus, un o'r gwŷr mwyaf yn ninas Petra.

Ymhellach, efe a berswadiasai Phabatus, yr hwn oedd oruchwyliwr Herod, trwy roddi iddo swm mawr o arian am ei gynnorthwyo yn erbyn Herod. Ond wedi i Herod roddi iddo ragor, efe a'i denodd i adael Sylleus, a thrwy'r moddion o hono ef, gofynnodd ganddo'r holl ddyled a orchymmynodd Cæsar ei dalu. Ond pryd na thalodd Sylleus ddim o'r peth oedd arno ei dalu; a darfod iddo hefyd gyhuddo Phabatus wrth Cæsar, a dywedyd nad oedd yn oruchwyliwr er mantais i Cæsar, ond i Herod; Phabatus a a ddigiodd wrtho ar y cyfrif hwnnw, ond a ydoedd fyth mewn cyfrif mawr gyd â Herod, ac a ddatguddiodd ddirgelion Sylleus, gan fynegi i'r brenin, fod Sylleus wedi llygru Corinthus, un o'i warcheidwaid, trwy wobr; ac oddiwrth ba un yr oedd raid iddo, gan hynny, gymmeryd gofal. Yn ganlynol y brenin a gyd-syniodd. Canys y Corinthus hwn, er ei ddwyn i fynu yn nheyrnas Herod, etto yr oedd o enedigaeth yn Arabiad. Felly y brenin yn uniongyrch a orchymmynodd ei gymmeryd ef; ac nid efe yn unig ond dau Arabiad eraill, y rhai a ddaliwyd gyd ag ef. Un o honynt ydoedd gyfaill Sylleus, y llall yn bennaeth un o'u llwythau. Y ddau olaf hyn wedi eu rhoddi ar yr arteithfa, a gyfaddefasant ddarfod iddynt berswadio Corinthus, am swm mawr o arian, i ladd Herod. Ac wedi eu holi hwynt ymhellach gan Saturninus, rhaglaw Syria, hwy a ddanfonwyd i Rufain.

Herod, pa fodd bynnag, ni adawodd heibio berswadio Pheroras, ond a aeth ymlaen i wneuthur iddo ddodi ymaith ei wraig. Etto ni fedrai efe ddyfeisio un ffordd trwy'r hon y gallai ddwyn y wraig ei hun i gospedigaeth, er cael o hono lawer o achosion i'w chashau hi; nes o'r diwedd yr oedd yn y fath anesmwythder o'i phlegid, fel ag y bwriodd efe hi a'i frawd allan o'i deyrnas. Pheroras a gymmerodd yr ammharch hwn yn dra amyneddgar; ac a aeth ymaith i'w dalaith ei hun, ar yr hon yr oedd yn detrarch; gan dyngu na fyddai ond un diben i'w ffoedigaeth ef, a hynny oedd marwolaeth Herod; ac na ddychwelai fyth tra fyddai efe byw. Ac yn wir ni ddychwelodd pan oedd ei frawd yn glaf, er iddo anfon yn daer atto am iddo ddyfod i ymweled ag ef, o achos chwennych o hono adael rhai annogaethau gyd ag ef cyn ei farw. Ond Herod yn annisgwyliadwy a wellhaodd. Ym mhen ychydig amser ar ol hynny Pheroras ei

* Y cyndynrwydd dieithr hwn o'r eiddo Pheroras yn cadw ei wraig, yr hon oedd un o deulu gwael; ac yn gommedd priodi un o berthynas agos i Herod, er ei ddymuno mor daer ganddo; megis hefyd rhoddi caniattad i'r wraig honno i ddyfod i mewn i gynghor y boneddigesau eraill, a berthynant i'r llys; ynghyd â thaerineb Herod am ysgariad Pheroras, a'i briodasau eraill; y cwbl wedi eu hynodi yma, ac yn Hynaf. XVII. 2 a'r 3. ni ellir cyfrif yn hawdd am danynt, ond trwy feddwl ddarfod i Pheroras gredu, a Herod yn dychymmygu, rhagddywediad y Phariseaid, megis pe buasai coron Judea i gael ei throsglwyddo o dylwyth Herod i'r eiddo Pheroras, a hynny, ysgatfydd, i'w hiliogaeth o'r wraig hon.

hun a syrthiodd yn glaf, pan ddangosodd Herod fwy o gymmedroldeb. Canys efe a ddaeth atto, ac a dosturiodd wrth ei amgylchiad, gan gymmeryd gofal drosto. Ond ei ymddygiad caredig tu ag atto ni wnaeth iddo ddim lles; canys Pheroras ymhen ychydig ar ol hynny a fu farw. Yn awr, er bod gan Herod gymmaint cariad tu ag atto hyd y dydd olaf o'i fywyd, etto yr oedd son wedi myned o amgylch ddarfod iddo ei ladd â gwenwyn. Pa fodd bynnag fe gymmerodd ofal am i'w gorph marw gael ei ddwyn i Jerusalem; ac a appwyntiodd alar mawr gan yr holl genedl am dano; ac a wnaeth angladd tra chostfawr iddo. A dyma oedd y diwedd ag y daeth un o fradwyr Alexander ac Aristobulus iddo.

## PENNOD XXX.

*Ymofyniad ynghylch marwolaeth Pheroras, yn arwain i wneuthur datguddiad o ddarfod i Antipater barottoi gwenwyn i'w dad: Herod yn bwrw Doris, a'i chyd-gyfrinachyddion, megis Mariamne hefyd o'r Palas, ac yn dileu ei fab Herod allan o'i ewyllys.*

OND yn awr y gospedigaeth a drosglwyddwyd i'w awdwr dechreuol Antipater, ac a gymmerodd ei godiad oddiwrth farwolaeth Pheroras. Canys rhai o'i wŷr rhyddion a ddaeth gyd ag wynebpryd trist at y brenin, ac a ddywedasant wrtho, ddarfod difetha ei frawd â gwenwyn: a darfod i'w wraig ddwyn rhywbeth iddo wedi ei barottoi mewn modd anarferol; ac iddo ef ar ol ei fwytta syrthio'n ddiattreg yn drymglaf; fod mam Antipater ddeuddydd o'r blaen, wedi dwyn gyd â hi wraig o Arabia, ag oedd yn ddeallus ynghymmysgiad cyffyriau, fel y gallai barottoi serch-ddiod i Pheroras; ac mai yn lle hynny iddi roi diod farwol iddo: a darfod i hyn gael ei wneuthur o drefniad Sylleus, yr hwn oedd yn adnabyddus o'r wraig honno.

Cynnifer o ddrwg-dybiau ymherthynas i farwolaeth ei frawd a effeithiodd yn drwm ar y brenin; ac a barodd i'r morwynion, a rhai o'r rhydd-wragedd gael eu harteithio. Un o'r rhai hyn a lefodd allan yn ei hing, "Bydded i'r Duw ag sy'n llywodraethu nefoedd a daear gospi awdures ein holl drueni hwn, mam Antipater!" Y brenin a gymmerodd achlysur oddiwrth y cyfaddefiad hwn, ac a aeth ymlaen i ymofyn ymhellach mewn perthynas i wirionedd y peth. Felly y wraig hon a amlygodd gyfeillach mam Antipater a Pheroras, ac â merched tylwyth Antipater; ac hefyd am y cyfarfodydd dirgel; a darfod i Pheroras ac Antipater yfed gyd â hwynt tros nosweithiau cyfain ynghyd, pan fyddent yn dychwelyd oddiwrth y brenin, ac ni adawent neb, na gwas na morwyn i fod yno; tra yr oedd un o'r rhydd wragedd yn datguddio'r achos.

Ar hyn Herod a arteithiodd y morwynion, bob un o honynt yn neillduol wrthi ei hun; y rhai oll yn un a gyttunasant â'r datguddiad rhagflaenol. Ac yn ganlynol, trwy gyd-gyttundeb â'u gilydd, Antipater a aeth ymaith i Rufain, a Pheroras i Petra: oblegid eu bod wedi mynych ymddiddan â'u gilydd fel hyn; Mai wedi y lladdai Herod Alexander ac Aristobulus, y byddai iddo syrthio arnynt hwy, ac ar eu gwragedd: canys gan na arbedodd efe Mariamne a'i phlant, ni arbedai neb arall. Ac am y rheswm hwn, mai goren oedd myned mor bell oddiwrth y bwystfil gwyllt ag a fedrent. Chwanegasant hefyd, fod Antipater yn mynych alaru ei gyflwr ei hun o flaen ei fam, gan ddywedyd fod ei wallt ef eisoes yn llwydo ar ei ben; a bod ei dad yn ymddangos yn ieuangach beunydd; ysgatfydd y byddai i angau ei orddiwes ef cyn y byddai yn frenin mewn gwirionedd. A phan fyddai Herod farw, yr hyn ni wyddid pa bryd y digwyddai, ni byddai mwyniant ei deyrnasiad ef ond tros ychydig amser, gan fod y pennau *hydra* hynny, meibion Aristobulus ac Alexander yn tyfu i fynu. Ei fod ef yn cael ei ymddifadu gan ei dad o'r gobaith o fod i'w blant ef deyrnasu ar ei ol; oblegid nad oedd ei ddilynydd ef i fod yn un o'i feibion, ond Herod, mab Mariamne. Bod Herod, yn y matter hwn, yn sicr wedi gwallgofi wrth dybied y byddai i'w ewyllys yn hynny gymmeryd lle; canys fe gymmerai ofal na byddai i un o'i hiliogaeth aros yn fyw; oblegid mai efe, o bob tadau, oedd y casawr mwyaf o'i blant. Etto'r ydoedd yn cashau ei frawd yn waeth; trwy'r hyn yr oedd ddarfod iddo yn ddiweddar gyfrannu cant o dalentau, fel na byddai iddo ef ddim cymdeithas â Pheroras. A phan ddywedodd Pheroras, "Ym mha beth y darfu i ni ei niw-

eidio ef?" Antipater a attebodd, "Dymunwn iddo ein difuddio o'r hyn oll sydd gennym, a'n gadael yn noeth ac yn fyw yn unig. Ond y mae'n wir yn ammhosibl diangc rhag y bwystfil gwyllt hwn, pa un sydd wedi ymroddi fel hyn i lofryddiad; yr hwn ni chaniatta i ni garu neb rhyw bersonau yn gyhoeddus, er ein bod mewn cymmundeb dirgelaidd â'n gilydd. Etto gallwn fod felly ar gyhoedd hefyd, pe byddai gennym ond cefnogrwydd, a dwylaw gwŷr."

Y pethau hyn oll a ddywedwyd gan y merched ar yr arteithfa; megis hefyd fod Pheroras yn ymroi i wneuthur ffoedigaeth gyd â hwy i Petra. Yn awr Herod a roddodd grediniaeth i'r hyn a ddywedasant, ymherthynas i'r cant o dalentau: oblegid na soniasai am danynt wrth neb ond Antipater. Felly fe ollyngodd ei ddigter yn gyntaf oll ar fam Antipater; ac a gymmerodd ymaith oddiwrthi yr holl addurniadau a gyfranasai iddi, o werth llawer o dalentau, ac a'i bwriodd allan o'r palas yr * ail waith. Cymmerodd hefyd ofal am ferched tylwyth Pheroras, ar ol eu harteithiau, megis wedi ei gymmodi yn awr â hwynt. Ond yr ydoedd mewn cythrwfl mawr ynddo ei hun, ac yn danllyd ar bob drwg-dybiad; a pharodd i lawer o bersonau diniweid gael eu harwain i'r arteithfa, oddiar ofn rhag gadael neb rhai euog yn ddiartaith.

Ac yn awr, fe benderfynodd holi Antipater o Samaria, yr hwn oedd oruchwiliwr ei fab Antipater. Ac wrth ei arteithio ef, fe ddysgodd wybod, fod Antipater wedi danfon am ddiodfeddyginiaeth wenwynllyd iddo o'r Aipht, gyd ag Antiphilus, ei gydymmaith: ddarfod i Theudio, ewythr Antipater, ei gael oddiwrtho ef, a'i roddi at Pheroras: oblegid i Antipater roddi gofal arno i gymmeryd ymaith ei dad, tra fyddai ef yn Rhufain; ac felly ei ryddhau oddiwrth ddrwg-dŷb o ddarfod iddo ei wneuthur ei hun: ac i Pheroras yn ganlynol roddi y ddiod hon yngofal ei wraig. Yna y danfonodd y brenin atti hi, gan beri iddi ddwyn atto ef yr hyn a dderbyniasai. Felly daeth allan o'i thŷ, fel pe buasai yn ei ddwyn gyd â hi; eithr bwriodd ei hun i lawr oddiar y nenn, mewn trefn i ragflaenu holiad ac arteithiad gan y brenin. Pa fodd bynnag, fe ddaeth o amgylch, fel yr ymddengys, trwy ragluniaeth Duw, wedi bwriadu dwyn Antipater i gospedigaeth, na ddarfu iddi syrthio ar ei phen, ond ar ryw rannau eraill ei chorph, ac felly y diangodd yn fyw. Y brenin, wedi ei dwyn atto, a gymmerodd ofal oddiwrthi; (canys yr ydoedd ar y cyntaf yn anwybodus am dani ei hun oddiwrth ei chwymp:) ac a ofynnodd iddi paham y bwriai ei hun i lawr? ac a roddodd ei lŵ iddi, mai os llefarai y gwirionedd pur, yr esgusodai hi oddiwrth bob cospedigaeth; ond os darn-guddiai ryw beth, y mynnai rwygo ei chorph yn ddrylliau trwy ei harteithio, heb adael un rhan o hono i'w gladdu.

Ar hyn y wraig a ymattaliodd ychydig, ac yna a ddywedodd, "Pa ham y rhusaf i adrodd y dirgelion mawr hyn, gan fod Pheroras yn awr yn farw. Ni thueddai hynny ond yn unig i achub Antipater, yr hwn yw ein dinystr ni oll. Gwrando gan hynny, O frenin, a bydd di, a Duw ei hun, yr hwn ni's gellir ei dwyllo, yn dystion o wirionedd yr hyn yr wyf yn myned i'w ddywedyd. Pan oeddyt yn eistedd dan wylo yn ymyl Pheroras, fel ag yr oedd yn marw, efe a alwodd arnaf atto, ac a ddywedodd, Fy anwyl wraig, mi gamsyniais yn fawr am duedd fy mrawd tu ag attaf; gan ei gashau ef yr hwn yn awr sydd mor garedig i mi; ac a amcenais ddifetha un ag sydd mor gystuddiol o'm pelgid cyn fy marw. Am danaf fy hun, yr wyf yn derbyn taledigaeth yr hyn a wnaethum. Ond dwg yma pa ryw wenwyn a adawyd gyd â ni gan Antipater, a'r hwn a gedwaist mewn trefn i ddifetha fy mrawd; a bwrw ef yn union i'r tân, yn fy ngolwg i; fel na byddwyf yn ddarostyngol i'r dialydd mewn byd anweledig. Hwnnw a ddygais fel y gorchymynasai, ac a arllwysais y rhan fwyaf o hono i'r tân; ond a gedwais ychydig i'm fy hun, erbyn amser ansicr i ddyfod, a thrwy fy ofn o honot ti."

Wedi iddi ddywedyd hyn hi ddygodd y blwch iddo, yr hwn oedd ag ychydig fesur o'r gwenwyn hwnnw ynddo. Ond y brenin a adawodd lonydd iddi, ac a drosglwyddodd yr arteithiau i fam a brawd Antiphilus, y rhai bob un a gyfaddefasant i'r blwch gael ei ddwyn o'r Aipht; a darfod iddynt ei gael oddiwrth frawd iddo ef, ag oedd yn physygwr yn Alexandria. Yna y bu i ysprydion Alexander ac Aristobulus, fyned o amgylch yr holl balas; ac a ddaethant yn chwilwyr a datguddwyr yr hyn na ellid heb

* Gwel pen. 22, a'r 23.

hynny ei gael allan; ac a ddygasant y rhai oedd fwyaf rhydd oddiwrth ddrwgdybiad i gael eu chwilio. Trwy'r hyn y datguddiwyd, fod Mariamne, merch yr archoffeiriad, yn gydwybodol o'r fradwriaeth; a'u brodyr, pan arteithiwyd hwynt, a dystiasant fod y peth felly. Y brenin gan hynny a ddialodd ymgynhygiad trahaus y fam ar ei mab; ac a ddileodd enw Herod, a gawsai o honi, allan o'i ewyllys; yr hwn a enwasid i fod i ddilyn Antipater yn y teyrnasiad.

## PENNOD XXXI.

*Am gyflawn ddatguddiad o fradwriaeth Antipater, ei ddychweliad o Rufain, a'i dderbyniad gan Herod.*

AR ol i'r pethau hyn fyned trosodd, Bathyllus a ddaeth tan holiad, mewn trefn i argyhoeddi Antipater; yr hwn a wiriodd y dystiolaeth ddiweddaf am fwriadau Antipater; yr hwn nid oedd amgen na'i ŵr rhydd ei hunan: y dyn hwn a ddaeth ym mlaen, gan ddwyn gyd ag ef wenwyn marwol arall, sef gwenwyn aspiaid, a sûg rhyw nadrodd eraill; fel os na fyddai i'r cyntaf wneud y gorchwyl, y byddai Pheroras a'i wraig wedi eu harfogi â hwn hefyd i ddifetha'r brenin. Dangosodd hefyd chwanegiad o drahausder Antipater i geisio difetha ei dad, yr hyn oedd lythyrau yn erbyn ei frodyr Archelaus a Philip, y rhai oeddynt feibion y brenin, ac yn cael eu dwyn i fynu yn Rhufain, a hwy etto yn ieuaingc, ond o dueddiadau haelionus. Antipater a ymosododd ei hun i wneud ymaith â'r rhai hyn cyn gynted ag y medrai, fel na byddent hwy o niweid i'w ddisgwyliadau. Ac i'r diben hwnnw fe wnaeth ffug-lythyrau yn eu herbyn, tan enw ei gymdeithion yn Rhufain. Rhai o honynt a lygrodd â gwobrwyon i ysgrifennu, fod y rhai ieuaingc yn mawr waradwyddo eu tad, ac yn eglur dristau tros Alexander ac Aristobulus; a'u bod yn anesmwyth oblegid eu galw yn ol: canys eu tad eisoes a ddanfonasai am danynt; yr hyn oedd yr unig beth a flinodd Antipater.

Ië, yn wir, tra'r oedd Antipater yn Judea, a chyn ei fod ar ei daith i Rufain, fe roddodd arian am i'r cyffelyb lythyrau gael eu hanfon i'w herbyn o Rufain: ac yna fe ddeuai at ei dad, yr hwn etto ni ddrwg-dybiasai am dano, ac a wnae amddiffyn tros ei frodyr, ac a ddadleuai trostynt, fod rhai pethau a gynhwysid yn y llythyrau hynny yn ffugiol; ac nad oedd pethau eraill a gynhwysent ond cyfeiliornadau ieuengctyd. Etto ar yr un amser ag yr oedd yn gwario llawer iawn o'i arian, wrth wneud anrhegion i'r rhai a ysgrifennent yn erbyn ei frodyr, cyfeirio'r ydoedd at ddwyn ei gyfrif i gymmysgedd, trwy brynu gwisgoedd costfawr, a bwrdd neu lawr-lenni o amryw gyfansoddiad, gyd â chwppanau aur neu arian o amrywiol ddull, a llawer o bethau cywrain eraill: fel, wrth hynny, ym mhlith y mawr gostau a osodid allan am y fath ddodrefn y gallai guddio'r arian a ddefnyddiasai yn cyflogi rhai i ysgrifennu'r llythyrau. Canys efe a ddygai i mewn gyfrif o'i draul, yr hon ydoedd yn ddau cant o dalentau: ei esgus pennaf am hyn ydoedd ei gwyn-cyfraith a fuasai rhyngddo â Sylleus. Felly tra'r oedd ei holl ddihirwch, ïe'r hyn a berthynent i'r llythyrau, yn cael ei guddio gan ei ddrygioni; a phan oedd yr holl holiadau trwy arteithio yn cyhoeddi ei amcaniad i lofruddio ei dad; etto ni ddarfu i neb o'r rhai a ddaethant i Rufain hyspysu iddo aflwydd ei achos yn Judea, er i saith o fisoedd fyned heibio rhwng ei argyhoeddiad a'i ddychweliad yn ol: mor fawr oedd y casineb a ddygent oll tu ag atto. Ac ysgatfydd mai ysprydion y brodyr hynny a lofruddiasid, a attaliodd eneuau y rhai a fwriadasent fynegi iddo. Yna efe a ysgrifennodd o Rufain, gan hyspysu i'w gyfeillion y deuai yn fuan attynt; a darfod ei ollwng ymaith gyd ag anrhydedd gan Cæsar.

Yn awr, a'r brenin yn ewyllysio cael y bradwr hwn iddo i'w ddwylaw; a chan ofni hefyd rhag iddo wybod ryw ffordd neu gilydd am sefyllfa ei achos, a bod ar ei wyliadwriaeth; fe guddiodd ei ddigter tu ag atto yn ei epistol; megis mewn pyngciau eraill, fe ysgrifenodd yn garedig atto, ac a ddymunodd iddo wneuthur brŷs; o herwydd os deuai yn fuan, y gosodai heibio'r achwynion oedd ganddo yn erbyn ei fam.* Canys nid oedd Antipater yn anwybodus ddarfod ei bwrw allan o'r palas. Pa fodd bynnag, efe o'r blaen a dderbyniasai lythyr, yn cynnwys hanes marwolaeth Pheroras a † Tabod, fel yr hyspysa Reland i ni yn ei nod ar y lle hwn.

* Hynaf. XVII. 5.

† Y Tarentum hwn sydd a'i arian etto mewn

rentum; ac a wnaeth alar mawr o'i herwydd: am y rhai hyn a'i canmolasant, megis ei fod tros ei ewythr ei hun: er, o bossibl, ddarfod i'r terfysg hwn ar ei feddwl gyfodi o herwydd methu, wrth hynny, ei fradwriaeth yn erbyn bywyd ei dad: a'i ddagrau ydoedd yn fwy ar gyfrif colli'r neb oedd i fod yn offerynol yn hynny, nag ar ol ewythr iddo. Ymhellach, math o ofn a ddisgynodd arno mewn perthynas i'w amcanion, rhag i'r gwenwyn fod wedi ei ddatguddio. Pa fodd bynnag, pan oedd yn Cilicia, fe dderbyniodd yr epistol ragfynegol oddiwrth ei dad, ac a wnaeth frŷs mawr yn ganlynol. Ond wedi iddo fordwyo i Celenderis, amheuaeth a ddaeth i'w feddwl ymherthynas i aflwyddiant ei fam; megis pe buasai ei enaid tan wasgfa rhag ofn rhyw ddrygau iddo ei hun. O ba herwydd, rhai o'i gyfeillion ag oedd fwyaf ystyriol, a'i hannogasant i beidio myned yn fyrbwyll at ei dad; nes iddo ddysgu gwybod pa beth ydoedd yr achos ddarfod i'w fam gael ei throi allan: am eu bod yn ofni rhag ei ddrygu ef trwy'r enllibiau a fwriasid arni hi. Ond y rhai oedd â mwy o ofal arnynt am weled gwlad eu genedigaeth, nag am ddiogelwch Antipater, a'i perswadiasant ef i frysio adref; ac nid, trwy oedi ei siwrnai, rhoddi i'w dad sail o ddrwg-dybiad; a rhoddi achlysur i'r rhai a godent chwedlau celwyddog yn ei erbyn: canys os digwyddai ryw beth a fyddai er ei anfantais, hynny a ellid gyfrif i'w absennoldeb; yr hyn ni feiddid ei wneuthur pan fyddai yn bresennol. A dywedasant mai anghallineb ydoedd iddo ddifuddio ei hun o ddedwyddwch sicr, trwy roddi lle i ddrwg-dybiau ansicr: ac nid yn hytrach ddychwelyd at ei dad, a chymmeryd arno'r awdurdod frenhinol, yr hon oedd mewn stâd o anwastadrwydd o'i herwydd ef yn unig. Antipater a gydsyniodd â'r cyngor diweddaf hwn: canys rhagluniaeth oedd yn ei brysuro ym'laen i'w ddinystr. Felly fe aeth heibio tros y môr, ac a diriodd yn Sebaste, porthladd Cæsarea.

Yma fe gyfarfu â neillduedd annisgwyladwy; tra'r oedd pawb yn ei ochelyd, ac na feiddiai neb ddyfod yn agos atto. Canys fe'i casheid yn gydradd gan bob dynion; ac yn awr y casineb hwnnw a gafodd ryddid i'w ddangos ei hun: a'r arswyd oedd ar bawb oblegid digter y brenin, a wnaeth iddynt gadw oddiwrtho. Canys holl ddinas Jerusalem ydoedd lawn o'r sŵn ynghylch Antipater; ac Antipater ei hun ydoedd yr unig berson ag oedd yn anwybodus o hono. Canys fel na anfonasid neb ymaith i'w daith tu a Rhufain gyd â'r fath rialtwch; felly ni dderbyniwyd un yn ol gyd â mwy o ddiystyrwch. Ac yn wir fe ddechreuodd eisoes ddrwg-dybio pa ryw derfysg a allai fod yn nheulu Herod. Etto darfu iddo yn gyfrwys guddio ei ddychymmygion: a thra yr oedd oddi mewn yn barod i farw gan ofn, ymwisgodd âg wynebpryd gwrol oddi allan. Ac ni allai yn awr ffoi i un man, ac nid oedd ganddo le i gilio rhag yr anhawsderau oedd yn ei amgylchu. Ac yn wir nid oedd ganddo yno hyspysrwydd sicr o amgylchiad y teulu brenhinol, ar gyfrif y bygythiau yr oedd y brenin wedi eu hanfon allan. Etto yr oedd ganddo ryw obaith bychan o well newyddion. Oblegid ysgatfydd na chawsai dim ei amlygu; neu, os datguddiasid rhyw beth, o bossibl y gallai glirio ei hun trwy hyfdra digywilydd, a dadleuon celfyddgar, y rhai oedd yr unig bethau y pwysodd arnynt er ei waredigaeth.

Gyd â'r gobeithion hyn, gan hynny, efe a ymgyssurodd ei hun, nes iddo ddyfod i'r palas, heb neb rhyw gyfeillion gyd ag ef. Canys y rhai hyn a ddigiasid, ac oeddynt wedi eu cau allan wrth y porth cyntaf. Yn awr, Varus, rhaglaw Syria, a ddigwyddodd fod yn y palas yr amser hwn. Felly Antipater a aeth i mewn at ei dad, a chan ymddangos ag wyneb hŷ, fe nesaodd o'i flaen i'w gyfarch ef. Ond Herod a estynodd allan ei ddwylaw, ac a drodd ymaith ei wyneb oddiwrtho, ac a lefodd allan, "Dyma yn ddiau arwydd o dad-leiddiad; i ewyllysio fy nghael i'w freichiau, pan y mae tan y fath gyhuddiadau. Duw a'th waradwyddo, tydi ddyhiryn drygionus. Na chyffwrdd â mi, nes clirio dy hun oddiwrth y beiau anafus a osodir arnat ti. Cais dy amddiffyniad dy hun, gan hynny, yn barod erbyn y foru; oblegid yr wyf yn rhoddi it' gymmaint a hynny o amser, i barottoi esgusodion cyfrwys-gall trosot dy hun." Ac fel yr oedd Antipater wedi ei derfysgu gymmaint, fel na's gallai wneuthur un attebiad i'r cyhuddiad hwn, efe a aeth ymaith: ond ei fam a'i wraig a ddaethant atto, ac a adroddasant iddo yr holl dystiolaethau a gawsid yn ei erbyn. Ar-

hyn fe goffaodd ei hun; ac a ystyriodd pa ryw amddiffyn a allai ei wneuthur yn erbyn y cyhuddiadau.

## PENNOD XXXII.

*Antipater yn cael ei gyhuddo o flaen Varus, a'i argyhoeddi trwy'r tystiolaethau amlyccaf. Herod yn oedi ei gospedigaeth nes gwellhau ei iechyd; ac yn y cyfamser yn cyfnewid ei ewyllys.*

Y DYDD nesaf y brenin a gasglodd ynghyd lŷs o'i garennydd a'i gyfeillion, ac a alwodd i mewn gyfeillion Antipater hefyd. Herod ei hun a Varus ydoedd y barnwyr neu lywyddion, a'r holl dystion a orchymmynwyd eu dwyn ymlaen. Yn eu plith hwynt yr oedd rhai o dylwyth mam Antipater, y rhai a ddaliesid ychydig o'r blaen, fel ag yr oeddynt yn dwyn y llythyr canlynol oddi wrthi at ei mab: "Gan fod yr holl bethau hyn wedi eu datguddio eisoes i dy dad, na thyred ti atto, oddieithr gallu o honot gael rhyw gynnorthwy oddiwrth Cæsar." Wedi i'r tyst hwn ac eraill ddyfod ymlaen, Antipater a ddaeth i mewn, a chan syrthio ar ei wyneb o flaen ei dad, efe a ddywedodd, "Fy nhad, yr wyf yn attolygu arnat na chondemniech fi ym mlaenllaw: ond bydded dy glustiau yn ddi-duedd, a gwrando ar fy amddiffyniad. O blegid os rhoddi i mi gennad, mi a'i gwnaf yn amlwg fy mod i yn ddieuog."

Ar hyn Herod a waeddodd allan arno am attal ei eiriau, ac a lefarodd fel hyn wrth Varus; "Ni allaf dybied yn amgen na fydd i ti, Varus, a phob uniawn farnwr arall, gyfrif yr Antipater hwn yn adyn truenusaf. Yr wyf yn ofni hefyd y bydd it' gashau fy sefyllfa fy hun, a'm barnu yn haeddiannol o bob math o drallod, am genhedlu y fath blant. Etto dylid yn hytrach dosturio wrthyf, yr hwn a fum yn dad caredig i feibion mor drueuus. Canys wedi sefydlu o honof y deyrnas ar fy meibion o'r blaen, ïe pan oeddynt yn ieuaingc; a phan, heblaw costau eu dygiad i fynu yn Rhufain, y gwnaethum hwynt yn gydnabyddus i Cæsar, ac yn gynfigen brenhinoedd eraill, mi a'u cefais hwynt yn bradwriaethu yn fy erbyn. Y rhai hynny a roddwyd i farwolaeth; a hynny, mewn mesur mawr er mwyn Antipater. Canys fel ag yr oedd efe y pryd hynny yn ieuangc, ac wedi ei appwyntio yn ddilynwr i mi yn y llywodraeth, cymmerais ofal yn bennaf i'w ddiogelu ef rhag perygl. Ond y bwystfil gwyllt afradlon hwn, wedi ei orlenwi â'r amynedd a ddangosais tu ag atto, a wnaeth ddefnydd o'r helaethrwydd a roddaswn iddo, yn fy erbyn fy hun. Canys fe ymddangosodd iddo ef fy mod yn byw yn rhy hir; ac yr oedd efe yn anesmwyth oblegid yr oedran ag oeddwn wedi ei gyrhaeddyd. Ac ni allai efe aros dim yn hwy, ond a fynnai fod yn frenin trwy dad-leiddiad. A chyfiawn i'm gwasanaethir ganddo am ei ddwyn yn ol o'r wlad i'r llys, pan nad oedd o ddim parch o'r blaen; a bwrw allan y meibion hynny a anesid o'r frenhines; a'i wneuthur ef yn ddilynydd yn fy arglwyddiaethau. Yr wyf yn cyfaddef wrthit, O Varus, pa ynfydrwydd mawr yr oeddwn yn euog o hono. Canys mi gythruddais fy meibion hynny i ymosod yn fy erbyn, ac a dorrais ymaith eu cyfiawn ddisgwyliad er mwyn Antipater. Ac yn wir pa ryw fath gymmwynas a wnaethum iddynt hwy, a gydbwysai â'r hyn a wnaethum i Antipater? i'r hwn y darfu i mi, mewn ystyr, roddi i fynu fy awdurdod frenhinol tra'r oeddwn yn fyw: a'r hwn a nodais yn gyhoeddus i arglwyddiaethu ar fy ol yn fy ewyllys diweddaf; gan roddi iddo deyrnged flynyddol o ddeg a deugain o dalentau; ac a roddais, heblaw hynny, iddo arian yn ddi-fesur allan o'm teyrnged fy hun. A phan oedd ynghylch myned yn ddiweddaf i Rufain, rhoddais iddo dri chant o dalentau; ac a'i canmolais ef, ac efe yn unig, o'm holl blant wrth Cæsar, megis gwaredwr ei dad. Yn awr pa feiau oedd fy meibion eraill yn euog o honynt cyffelyb i'r rhai hyn o eiddo Antipater?

"A pha dystiolaeth a ddygwyd yn eu herbyn hwy o'r fath gadernid ag sydd yn amlygu bradwriaeth y mab hwn yn fy erbyn? Etto y tadleiddiad yma a anturia lefaru trosto ei hun; gan obeithio tywyllu'r gwirionedd â'i chwedlau cyfrwys-gall. Rhaid i ti, O Varus, fod ar dy wyliadwriaeth yn ei erbyn. Canys mi adwaenwn y bwystfil hwn, ac yr wyf yn rhagweled mor deced y mynnai lefaru, a gwneud ymddangosiad o ffug dristwch. Hwn oedd yr un a'm cynghorodd i gymmeryd gofal rhag Alexander tra'r ydoedd yn fyw, a pheidio ymddiried fy mherson i bob dynion! Hwn a ddenai at fy ngwely, ac a edrychai o amgylch rhag bod

rhyw un a osodai fagl i mi! Hwn oedd efe a gymmerai ofal am fy nghwsg, ac a'm diogelai rhag unrhyw berygl: yr hwn a'm cyssurai oblegid y cystudd yr oeddwn ynddo pan laddwyd fy meibion; gan olygu pa fath serch oedd gan fy meibion byw eraill tu ag attaf! Dyma'r amddiffynwr a'r gwarcheidwad corphorol oedd gennyf! Ac wrth alw i'm cof, O Varus, ei dwyll a'i ddyfais ddichellgar ar bob achos; yn brin y gallaf gredu fy mod etto yn fyw; a rhyfeddu'r ydwyf ddiangc o honwyf rhag y fath fradychwr maleis-ddrwg. Pa fodd bynnag, gan fod rhyw dynghedfen neu gilydd yn anghyfanneddu fy nhŷ, ac yn cyfodi rhyw rai yn wastadol ag sydd anwylaf gennyf yn fy erbyn, bydd i mi, gyd â thywallt dagrau, dristau o herwydd fy nhrwm aflwyddiant, a dirgel ruddfan tan fy amgylchiad di-gyssur. Etto'r wyf yn penderfynu na chaiff neb ag sydd yn sychedu am fy ngwaed ddiangc yn ddi-gosp; ïe, pe byddai'r dystiolaeth i gyrraedd at fy holl feibion."

Wrth i Herod ddywedyd hyn, fe attaliwyd gan y terfysg yr oedd ynddo: ond fe ddymunodd ar Nicolaus, un o'i gyfeillion, i osod ger bron y dystiolaeth yn erbyn Antipater. Ond yn y cyfamser Antipater a gyfododd i fynu ei ben; (canys yr oedd yn gorwedd ar y llawr o'r blaen, wrth draed ei dad;) ac a lefodd allan yn uchel: "Tydi, O dad, a wnaethost fy amddiffyniad trosof. Canys pa fodd y gallaf fi fod yn dad-leiddiad, yr hwn wyt dy hun yn cyfaddef fy mod yn warcheidwad arnat? Yr wyt yn galw fy serchowgrwydd mabaidd yn anferth gelwydd a rhagrith. Pa fodd gan hynny y gallwn i, ag oeddwn gall mewn matterion eraill, fod mor wallgof a pheidio deall, nad oedd hawdd i'r hwn a wnelai weithred mor greulon guddio ei hun oddiwrth ddynion: a'i fod yn llwyr ammhosibl ei guddio oddiwrth farnwr nefoedd a daear, yr hwn sydd yn gweled pob peth, ag sydd yn bresennol ym mhob man. Ac oni wyddwn i pa ddiwedd y deuai fy mrodyr iddo, ar ba rai y gosodwyd gan Dduw gospedigaeth mor drom, am eu drwg-fwriadau yn dy erbyn. Ac yn wir pa beth ydoedd yr hyn a allai yn un modd fy nghythruddo i yn dy erbyn? A allai'r gobaith o fod yn frenin ei wneuthur? hynny a oeddwn eisoes. A allwn ddrwg-dybied am gasineb gennyt? na allwn: canys yr oeddwn yn cael fy ngharu gennyt. A pha ofn arall a allai fod arnaf? Ië, wrth dy ddiogelu di yr oeddwn yn ddychryn i eraill. A ydoedd arnaf eisiau arian? nac oedd: canys pwy a allasai dreulio cymmaint a fy hun. Yn wir, fy nhad, buaswn yn un mwyaf melldigedig o holl ddynolryw; a phe buasai gennyf enaid y creulonaf o'r holl fwystfilod gwylltion, oni fuasai raid i'r holl gymmwynasau a dderbyniais gennyt fy ngorchfygu i? Yn hwn, fel y dywedaist dy hun, a'm dygaist i'r palas; ac a'm dewisaist o flaen cynnifer o'th feibion; gan fy ngwneud yn frenin yn nyddiau dy fywyd; a thrwy helaethrwydd mawr o fanteision eraill a gyfrennaist i mi, ti a'm gwnaethost yn wrthddrych o gynfigen. O druenusaf ddyn ydwyf, ddarfod i'm fyned tan y fath absennoldeb hirfaith; ac wrth hynny caniattau ychwaneg o gyfleustra i gynfigen godi yn fy erbyn; a rhoddi yspaid hir o amser i'r rhai oedd ag amcan i'm drygu. Etto'r oeddwn yn absennol, fy nhad, ar gyfrif dy achosion di, fel na oddefit driniaeth amharchus gan Sylleus yn dy hen ddyddiau. Rhufain sydd yn dyst i'm ffyddlondeb mabaidd tu ag attat; ac felly y mae Cæsar, llywydd y ddaear gyfanneddol; yr hwn yn fynych a'm galwodd * Philopator. Cymmer y llythyrau a ddanfonodd efe attat; y maent i'w credu yn fwy na'r enllibiau a godwyd yma. Y llythyrau hynny ydynt fy amddiffyniad fy hun. Y rhai'n a ddefnyddiaf yn amlygrwydd o'r serch naturiol sydd gennyf tu ag attat ti: Cofia mai yn erbyn fy newisiad fy hun y bu i mi fordwyo i Rufain; megis yn gwybod am y casineb helaeth oedd tu ag attaf yn y deyrnas. Tydi, O fy nhad, pa mor anewyllysgar bynnag, a fu yn ddistryw i mi; trwy wneuthur i mi ganiattau amser i godi enllibiau a chynfigen yn fy erbyn. Pa fodd bynnag, mi ddaethum yma, ac wyf yn barod i wrando y dystiolaeth ag sydd yn fy erbyn. Os ydwyf dad-leiddiad, mi dramwyais dir a môr, heb gael niweid yn un honynt. Ond y drefn yma o brofiad nid yw o un fantais i mi. Canys fe ymddengys fy mod eisoes wedi fy mwrw yn euog ger bron Duw, ac o'ch blaen chwithau. Ac megis i'm condemniwyd eisoes, mi attolygaf i ti na chredech y rhai eraill a arteithiwyd: ond bydded i dân gael ei ddwyn i'm

* Carwr ei dad.

poenydio, ac eled ermyg yr arteithio trwy fy ymysgaroedd. Na ystyria wrth gri nac wylofain a ddichon gael ei wneuthur gan y corph halogedig hwn. Canys os wyf dad-leiddiad, ni ddylwn farw heb fy mhoenydio." Hyn a lefodd Antipater allan gyd ag wylofain a galar; ac a gynhyrfodd bawb, a Varus yn neillduol, i dosturio wrth ei gyflwr. Herod oedd yr unig un ag ydoedd â'i dymmer yn rhy gadarn i beri iddo wylo; megis yn gwybod fod y tystiolaethau a ddygwyd i'w erbyn yn wirionedd.

Ac yn awr y bu, ar orchymmyn y brenin, i Nicolaus wedi rhag-grybwyll llawer ynghylch cyfrwysedd Antipater, a rhagflaenu tosturi y swyddogion tu ag atto, yn ol hynny a ddygodd i mewn gyhuddiad tost a helaeth yn ei erbyn; gan gyfrif yr holl ddrygioni a fuasai yn y deyrnas iddo ef; ac yn enwedig llofruddiad ei frodyr; ac a amlygodd ddarfod eu difetha trwy'r enllibiau a godasai efe yn eu herbyn. Dywedodd hefyd, iddo amcanu yn erbyn y * rhai ag oedd etto yn fyw; fel pe buasent yn ymosod i ymwneud am y llywodraeth. "Ac," eb efe, "pa fodd y gellir meddwl y byddai i'r hwn a barottodd wenwyn i'w dad, ymgadw rhag gwneuthur drwg i'w frodyr?" Yna fe aeth ym mlaen i'w gyhuddo o'i gais i wenwyno Herod, ac a roddodd gyfrif rheolaidd o'r amryw ddatguddiadau a wnaethpwyd; ac a arwyddodd ei ddigter yn fawr ymherthynas i achosion Pheroras, o herwydd fod Antipater wedi cynnyg ei wneuthur ef yn llofruddiwr ei frawd; ac wedi llygru yr holl rai anwylaf oedd gan y brenin, a llenwi y palas â'i ddrygioni. Ac wedi iddo sefyll ar amryw gyhuddiadau eraill, gyd â'r prawf o honynt, efe a adawodd heibio.

Yna Varus a barodd i Antipater wneuthur ei amddiffyn. Ond efe a orweddodd yn ddistaw, heb ddywedyd ychwaneg na hyn, "Duw sydd dyst i mi, fy mod yn hollol ddi-euog." Felly Varus a ofynodd am y ddiod wenwynig, ac a'i rhoddodd i'w hyfed i ddrwg-weithredwr ag oeddid wedi ei farnu i farwolaeth, ac oedd y pryd hwnnw yn y carchar; yr hwn wedi ei gymmeryd a fu farw yn y fan. Felly Varus wedi bod ymddiddan neillduol rhyngddo â Herod, a darfod iddo ysgrifennu hanes y cynhulliad hwn at Cæsar, a aeth ymaith yn ol un diwrnod o arhosiad: y brenin hefyd a rwymodd Antipater; ac a ddanfonodd i hyspysu i Cæsar am ei drallodion.†

Ar ol hyn fe ddatguddiwyd ddarfod i Antipater osod bradwriaeth yn erbyn Salome. Canys un o dylwyth Antiphilus a ddaeth, ac a ddygodd lythyrau o Rufain, oddiwrth law-forwyn i Julia, enw'r hon oedd Acme. Danfonwyd neges ganddi hi at y brenin, ddarfod iddi gael llythyr wedi ei ysgrifennu gan Salome, ymhlith papurau Julia; ac iddi eu danfon iddo ef yn ddirgel o ran ewyllys da iddo. Y llythyr hwn o eiddo Salome oedd yn gynnwysedig o waradwyddiadau chwerwon yn erbyn y brenin, a'r achwynion uwchaf arno. Antipater a ffug-'sgrifenasai y llythyr hwn, ac a lygrasai Acme â gwobr, am ei ddanfon i Herod. Hyn a wybuwyd trwy ei llythyr at Antipater. Canys y modd hwn yr ysgrifenasai y wraig atto; "Megis y dymunaist, mi ddanfonais lythyr at dy dad: ac fe'm perswadir na arbed efe ei chwaer pan ddarllenno ef. Da y gwnei gofio'r hyn a addewaist, pan gyflawner y cwbl."

Wedi datguddio'r epistol hon, a'r hyn ag oedd wedi ei ffugio ynddi yn erbyn Salome, amheuaeth a ddaeth i feddwl y brenin, fod, ysgatfydd, y llythyrau yn erbyn Alexander hefyd wedi eu ffug-lunio. Yr oedd efe ar hyn wedi ei drallodi yn fawr, ac mewn tymmer wyllt, o herwydd iddo fod yn agos â lladd ei chwaer ar gyfrif Antipater. Ni ddarfu iddo, gan hynny, oedi yn hwy ei ddwyn i gospedigaeth am ei holl gamweddau. Etto pan oedd efe yn awchlym yn erlid Antipater, fe'i rhwystrwyd gan anhwyldeb corphorol a syrthiodd iddo. Pa fodd bynnag, fe ddanfonodd at Cæsar ymherthynas i Acme, a'r ddyfais a luniasid yn erbyn Salome. Danfonodd hefyd am ei ewyllys diweddaf, yr hwn a newidiodd; ac ar hynny a nododd Antipas yn frenin: ond heb ofalu dim am Archelaus a Philip, o herwydd i Antipater ddifetha eu parch hwynt gyd ag ef. Ond efe a adawodd i Cæsar, heblaw anrhegion eraill a roesai iddo, fil o dalentau: megis hefyd i'w wraig a'i blant, ei gyfeillion, a'i wŷr rhyddion, ynghylch pum cant. Gadawodd hefyd i lawer eraill fesur mawr o dir ac arian; gan ddangos ei barch i Salome ei chwaer; trwy adael iddi roddion tra godidog. A hyn oedd y peth

* Pen. 31. † Hynaf. XVII. 5.

a gynhwysid yn ei ewyllys, megis yr oedd yn awr wedi ei gyfnewid.

## PENNOD XXXIII.

*Am ddifethiad yr eryr aur: creulondeb Herod, a'i ymgais i'w ladd ei hun; dihenyddiad Antipater, a marwolaeth Herod.*

YN awr, anhwyldeb corphorol Herod a gynnyddodd yn fwy; a hyn o herwydd i'w afiechyd syrthio arno yn ei henaint, a phan oedd tan effaith y prudd-glwyf o ran ei gyflwr; canys yr ydoedd ynghylch deg a thrugain mlwydd o oedran; ac a ddarostyngwyd yn isel trwy'r blinderau a gafodd ynghylch ei blant: o herwydd yr hyn ni fwynhaodd ddim hyfrydwch yn ei fywyd, ïe, pan fyddai mewn iechyd. Y gofid hefyd o fod Antipater etto yn fyw a gynnyddodd ei afiechyd; yr hwn yn awr a ymroddodd ei roddi i farwolaeth nid ar ddamwain, ond mor gynted ag yr ymiachai drachefn; yr hwn a fwriadodd ei ddihenyddio mewn dull cyhoeddus.

Digwyddodd hefyd yn awr iddo, ym mhlith ei drallodion eraill, ymryson tra phoblogaidd. yr ydoedd dau o wŷr dysgedig yn Jerusalem, y rhai a fernid yn fwyaf deallus ynghyfreithiau eu gwlad, ac a oeddynt ar y cyfrif hwnnw mewn parch mawr ym mysg yr holl genedl. Un o honynt oedd Judas, mab Sepphoreus; a'r llall Matthias, mab Margalus. Yr ydoedd cynhulliad mawr o bobl at y gwŷr hyn pan fyddent yn esponio'r gyfraith, a daeth ynghyd yn feunyddiol y fath fyddin o ieuengctyd ag oedd yn tyfu i fynu yn ddynion. Yn awr wedi i'r gwŷr gael eu gwneud yn hyspys fod y brenin tan ddarfodedigaeth trwy'r prudd-glwyf, ac anhwyldeb arall; diferasant eiriau wrth rai o'u cydnabod, ei fod yn awr yn amser cyfaddas i amddiffyn achos Duw; ac i dynnu i lawr yr hyn a osodasid i fynu yn wrthwyneb i gyfreithiau eu gwlad. O herwydd ei fod yn anghyfreithlon i'r cyffelyb bethau fod yn y deml; megis delwau, llun wynebau, neu ddrych un creadur byw, pa bynnag. Yn awr y brenin a osodasai i fynu eryr euraidd uwch ben porth mawr y deml; yr hwn a annogodd y gwŷr dysgedig hyn eu torri i lawr; ac a ddywedasant, os cyfodai unrhyw berygl, y byddai yn beth anrhydeddus i farw tros gyfreithiau eu gwlad: am fod yr * enaid yn anfarwol; a thragwyddol fwynhad o ddedwyddwch yn aros y cyfryw ag a fyddent feirw ar yr achos hwnnw: tra fyddai rhai o yspryd llwfr, a'r sawl nad oeddynt yn meddiannu doethineb digonol i ddangos iawn gariad tu ag at eu heneidiau, yn dewis marw trwy afiechyd, yn hytrach na'r canlyniad o ymddygiad rhinweddol.

Ar yr amser ag yr oedd y gwŷr hyn yn areithio wrth eu disgyblion, sŵn a gerddodd o amgylch fod y brenin ar ei drangcedigaeth. Hyn a barodd i'r gwŷr ieuaingc ymosod ynghylch y gwaith gyd â mwy o hyfdra. Disgynasant eu hunain, gan hynny, i lawr oddiar nen y deml wrth raffau cryfion; a hyn liw dydd, pan oedd nifer mawr o bobl yn y deml; a thorrasant yr eryr hwnnw â bwyill i lawr. Hyn a fynegwyd yn ddioed i † gadben y brenin ar y deml; yr hwn a ddaeth gan redeg gyd â chorph mawr o filwyr ac a ddaliodd ynghylch deugain o'r gwŷr ieuaingc, ac a'u dygodd hwynt at y brenin. A phan ofynnodd iddynt yn gyntaf oll, a fuasent mor hyfion a thorri'r eryr euraidd i lawr? cyfaddefasant iddynt wneuthur hynny. Ac wedi iddo ofyn, wrth orchymmyn pwy ei gwnaethent? attebasant, wrth orchymmyn cyfraith ein gwlad. A phan ofynnodd iddynt ymhellach, pa fodd y gallent fod mor gyssurus pan oeddynt yn fuan i gael eu rhoddi i farwolaeth? attebasant, oblegid eu bod i fwynhau mwy dedwyddwch ar ol marw.

Wrth hyn yr oedd y brenin yn y fath dymmer danbaid anghymmedrol, fel y gorchfygodd ei anhwyldeb tros yr amser; ac a aeth allan, tan areithio wrth y bobl, gan wneuthur cyhudd-

---

* Fel y mae gennym yma hanes eglur am y tybiau Iuddewig yn nyddiau Josephus ynghylch dedwyddwch cyflwr dyn mewn byd i ddyfod, ac adgyfodiad y meirw, megis yn y Testament Newydd, Ioan xi. 21. Cyfeiriaf yma at fannau eraill yn Josephus, cyn iddo ddyfod yn Gristion Catholigaidd, ag sydd yn perthynu i'r un achos. Am y Rhyfeloedd II. 8. III. 8. VII. 6. Lle gallwn sylwi nad oes dim o'r pethau hyn i'w cael yn llyfr ei Hynafiaethau, a 'sgrifenasid yn bennaf er mwyn y Cenhedloedd; o flaen y rhai ni thybiodd yn gymmwys sefyll ar fatterion mor wrthwyneb i'w tybiau hwynt ag ydoedd y rhai hyn. Ac nid yw'r sylwiad hwn iw esgeuluso yma yn enwedigol, ar gyfrif y gwahaniaeth profedig sydd gennym o'n blaen, yn nangosiad Josephus o'r rhesymau a arferid gan y Rabbiniaid, i berswadio eu hysgolheigion i anturio eu bywydau er amddiffyniad cyfraith Dduw, yn erbyn delwau gan Moses; yn gystal a'r attebion a wnaethpwyd gan yr ysgolheigion hynny i Herod, pan ddaliwyd hwynt, ac oeddynt barod i farw tros yr unrhyw Y cyffelyb wahaniaeth rhwng tybiau Iuddewig a Chenhedlig a wel y darllenydd, yn fy nodau ar Hynafiaethau III. 7. XV. 9. Ac nid yw St. Paul ei hun yn ymresymmu â'r Cenhedloedd yn Athen, Act. xvii. 16--34, fel ag y mae â'r Iuddewon yn ei epistolau.

† Act v. 24.

iad ofnadwy yn erbyn y dynion hynny, megis rhai yn euog o gyssegr-yspeiliad; a chan wneuthur cynghygion mwy tan esgus o amddiffyn eu cyfraith; a'i fod ef yn meddwl haeddu o honynt eu cospi fel dynion hollol ddrygionus. Ar hyn yr oedd y bobl yn arswydo rhag cael o hono lawer yn euog; ac a ddeisyfiasant, pan gospai yn gyntaf y sawl a'u gosodasai ar y gwaith hwn, ac yna y rhai a ddaliwyd ynddo, a'r iddo adael heibio ei ddigter tu ag at y lleill. A hyn y brenin a gydsyniodd, er nad heb radd o anewyllysgarwch, ac a orchymynodd am i'r rhai a dorrasent yr eryr i lawr, ynghyd â'u Rabbiniaid, i gael eu llosgi yn fyw: ond a draddododd y lleill a ddaliwyd i'r swyddogion pennodol, i'w rhoddi ganddynt hwy i farwolaeth.

Ar ol hyn yr afiechyd a ymdanodd tros ei holl gorph, ac a'i poenydiodd ym mhob rhan o hono, gyd ag amrywiol arwyddion. Yr oedd arno glefyd arafaidd, ac ysfa annioddefol trosto; gofid yn ei golyddion, chŵydd y dyfr-glwyf ynghylch ei draed, a llosgfeydd tu-mewnol. Heblaw hyn yr oedd diffyg anadl arno; ac ni allai anadlu ond pan eisteddai yn union-syth: ac yr oedd arno gryndod trwy ei holl gymhalau; yn gymmaint ag y dywedodd y dewiniaid, ddyfod yr holl afiechyd yma arno am yr hyn a wnaethai i'r Rabbiniaid. Etto efe a ymdrechodd â'i amrafael glefydau, ac oedd â dymuniad er hynny i fyw, a chael adferiad o'i iechyd. Yn ganlynol efe a aeth tros yr Iorddonen, i wneud defnydd o'r ymolchfeydd cynnes yn Callirrhoe, ag sy'n rhedeg i'r llyn Asphaltites: ond y dyfroedd, ynddynt eu hunain, ydynt yn beraidd ddigon i'w hyfed. Ac yma y physygwyr a dybiasant yn gymmwys drochi ei holl gorph, trwy ei ollwng i lestr eang, yn llawn o olew. Ond ei olwg a fethodd; ac fe aeth fel un a fuasai yn marw. Ac er hynny pan wnaethpwyd terfysg gan ei weision, fe adfywiodd drachefn; etto efe yn ol hyn a anobeithiodd am wellhad; ac a roddodd orchymmyn a'r fod i bob milwr gael deg a deugain o drachmae yr un; a bod i arian lawer gael eu cyfrannu rhwng ei flaenoriaid a'i gyfeillion.

Yna efe a ddychwelodd yn ol, ac a ddaeth i Jericho, yn y fath wael gyflwr corphorol, ag oedd agos yn ei beryglu â mawolaeth yn y fan: pan aeth ym mlaen drachefn i gynnyg ar weithred dra echryslon. Canys efe a alwodd ynghyd y gwŷr godidoccaf trwy'r holl genedl Iuddewig, o bob rhyw bentrefi i'r hippodrome; ac yno fe'u cauodd i mewn. Yna y galwodd am ei chwaer Salome, a'i gŵr Alexas, ac a ymadroddodd fel hyn wrthynt, "Mi wn yn dda ddigon y ceidw'r Iuddewon ŵyl o lawenydd ar fy marwolaeth. Pa fodd bynnag y mae yn fy ngallu beri galar o'm plegid ar gyfrifon eraill, a chael i mi angladd hynod-wych, os bydd i chwi ond ymroddi i wneuthur fel y gorchymmynaf. Bydded i chwi ond gofalu danfon milwyr i amgylchynu'r dynion hyn ag sydd yn awr mewn dalfa, a lladdent hwynt yn ebrwydd ar fy marwolaeth i; ac yna holl Judea, a phob teulu o'i mewn, a alarant wrtho, pa un bynnag a fynnant a'i peidio."†

Wedi rhoddi o hono y gorchymmynion hyn, daeth llythyrau oddiwrth ei gennadwyr yn Rhufain; trwy yr hyn yr hyspyswyd fod Acme wedi ei rhoddi i farwolaeth, wrth orchymmyn Cæsar; a bod Antipater wedi ei gondemnio i farw. Ysgrifenasant, pa fodd bynnag, os oedd ewyllys yn hytrach gan Herod i'w alltudio ef, fod Cæsar yn caniattau iddo wneuthur hynny. Felly efe, tros ychydig amser, a adfyfyriodd, ac oedd â dymuniad ganddo i gael byw; ond yn fuan ar ol hynny fe'i gorchuddiwyd gan ei ddoluriau, ac a ydoedd mewn anhwyldeb gan chwant bwyd, a chan beswch di-attal, ac a ymdrechodd i ragflaenu angau naturiol. Felly fe gymmerodd afal, ac a ofynodd am gyllell; canys efe a arferai bilio afalau a'u bwytta hwynt. Yna efe a edrychodd o'i amgylch, i weled a oedd neb i'w luddias ef, ac a gododd i fynu ei ddeheulaw fel pe buasai am frathu ei hun. Ond Achiabus, ei gefnder, a ddaeth gan redeg atto, ac attal ei law, ac a'i rhwystrodd i wneud felly. Ar ba achos wylofain mawr a wnaethpwyd yn y palas, fel pe buasai y brenin yn trengu. Cyn gynted ag y clybu Antipater hynny, fe ymgalonogodd; a chyd â golwg siriol, a geisiodd gan y ceidwaid, am swm o arian, ei ollwng o'i rwymau, a gadael iddo fyned ymaith. Ond prif-geidwad y carch-

† Y mae gennym adroddiad helaeth am hyn yn Hanes Eglwysig Eusebius, 1. 8. a hynny megis wedi ei gymmeryd o ail lyfr Josephus ar y Rhyfeloedd Iuddewig. Wrth yr hyn yr ydym yn dysgu gwybod fod y ddau lyfr cyntaf yma o'r rhyfel Iuddewig, yn gystal yn y Groeg, ac ynghyfieithad Ruffinus, yn gwahaniaethu oddiwrth yr un a ddefnyddiwyd gan Eusebius; ac nad oedd y llyfr cyntaf tra maith hwn, yn ei gopi ef, o gymmaint yn hwy na rhai o'i lyfrau eraill, megis ag y mae yn awr.

or ni ddarfu iddo yn unig rwystro ei amcan hwnnw, ond a redodd i fynegi i'r brenin yr hyn ag oedd yn ei amcanu. Ar hyn y brenin a lefodd allan yn uwch nag y goddefai ei afiechyd iddo wneuthur; ac yn union-gyrch fe ddanfonodd rai o'i warchawdlu i ladd Antipater: rhoddodd hefyd orchymmyn am ei gladdu ef yn Hyrcanium. Newidiodd hefyd ei ewyllys drachefn; ac yn hwnnw a wnaeth Archelaus ei fab hynaf, a brawd Antipater, ei ddilynwr yn y llywodraeth; ac a wnaeth Antipas yn detrarch.*

Felly Herod ar ol byw pum niwrnod ar ol lladd ei fab, a fu farw; wedi teyrnasu pedair ar ddeg ar hugain o flynyddoedd, wedi darfod lladd Antigonus, a meddiannu ei deyrnas; ond dwy ar bymtheg ar hugain o flynyddoedd er pan wnaethid ef yn frenin gan y Rhufeiniaid. Yn awr, ymherthynas i'w eiddo, yr oedd yn llwyddiannus ym mhob ystyriaeth, os gallai neb arall fod felly: pan, o ddyn neilltuol, y daeth i feddiannu teyrnas; gan ei chadw yn dra hir, a'i gadael i'w feibion ei hun. Ond er hynny yn ei achosion teuluaidd yr ydoedd yn dra anffortunus. Yn awr cyn i'r milwyr wybod am ei farwolaeth, Salome a'i gwr a ddaethant allan, ac a ollyngasant yn rhyddion y rhai hynny ag oedd mewn rhwymau, ac a orchymmynasid eu lladd gan y brenin: a dywedasant wrthynt ddarfod iddo newid ei feddwl, ac a fynnai i bob rhai o honynt ddychwelyd i'w cartref-leoedd. Pan aeth y dynion hyn ymaith, Salome a fynegodd i'r milwyr ddarfod marw'r brenin: ac a'u cynnullodd hwynt, ac eraill o'r lliaws ynghyd yn dyrfa, o fewn i'r chwareu-le wrth Jericho. Yno Ptolemy, yr hwn a ymddiriedasid â'i sêl gan y brenin, a ddaeth o flaen y dyrfa, ac a adroddodd y dedwyddwch a gyrraeddasid atto gan y brenin, ac a gyssurodd y lliaws; gan ddarllen yr epistol a adawsai i'r milwyr: yn yr hwn y taer gynghorodd hwynt i ddwyn ewyllys da tu ag at ei ddilynwr yn y llywodraeth. Ac wedi iddo ddarllen yr epistol, efe a agorodd, ac a ddarllenodd ei ewyllys diweddaf: ymha un Philip oedd i feddiannu Trachonitis, a'r gwledydd cymmydogaethol; ac Antipas i fod yn detrarch, ac Archelaus yn frenin. Efe hefyd a orchymmynasid i ddwyn modrwy Herod i Cæsar, a'r sefydliadau a seliodd i fynu; o herwydd mai Cæsar oedd i fod yn arglwydd yr holl sefydlau a wnaethai, ac ydoedd i gadarnhau ei ewyllys. Ac efe a archodd i'r tystiolaethau eraill a wnaeth gael eu cadw, megis y gosodasid hwynt yn ei ewyllys blaenorol.

Felly gwnaethpwyd gwaedd o glodforedd i Archelaus, i'w roesawi ar ei ddyrchafiad; a'r milwyr, gyd â'r lliaws, a aethant yn lluoedd o amgylch, gan addaw eu hewyllys da iddo; a gweddiasant, heblaw hynny, ar i Dduw fendithio ei lywodraeth. Ar ol hyn hwy a aethant ymaith i wneud parottoad i angladd y brenin. Ac ni adawyd dim yn ol gan Archelaus a ddangosai fawrhydi ymherthynas iddo: ond fe ddygodd allan yr holl addurniadau brenhinol, i fawrhau coffadwriaeth y marw. Yr ydoedd elor i gyd o aur, wedi ei gyd-blethu â meini gwerthfawr; a gwely porphor o amrywiaeth gwneuthuriad, gyd â'r corph marw arno; wedi ei orchuddio â phorphor: a choron-bleth a osodwyd ar ei ben, a choron aur uwchlaw iddi, a theyrnwialen yn ei law ddehau. Ac yn agos at yr elor yr oedd meibion Herod, a lliaws o'i berthynasau. Yn nesaf y deuai ei warchawdlu, a mintai o'r Thrasiaid; yr Ellmyn hefyd, a'r Gauliaid; pawb wedi ei ymwisgo megis pe buasent yn myned i ryfel. Ond y gweddill o'r fyddin oedd flaenaf, yn arfogion; ac yn dilyn eu cadbeniaid a'u swyddogion mewn modd rheolaidd. Ar ol pa rai y dilynodd pum cant o wasanaeth-ddynion teuluaidd, a gwŷr rhyddion, gyd â † pher-lysiau yn eu dwylaw. A'r corph a ddygwyd ymaith ddau cant o stadau i Herodium, lle y rhoisai orchymmyn am ei gladdu.

* Hynaf. XVII. 8.

† Gwel Marc xvi, 1. Luc xxiii. 56, Ioan xix. 40.

# LLYFR II.

*Yn cynnwys yspaid Naw a thrugain o Flynyddau.*

## O FARWOLAETH HEROD, HYD ANFONIAD TITUS VESPASIAN I DDAROSTWNG YR IUDDEWON GAN NERO.

### PENNOD I.

*Am yr angladd-wledd a wnaethpwyd gan Archelaus; y terfysg a godwyd gan y lliaws, a'u cospedigaeth gan y filwriaeth.*

YN awr, yr angenrheidrwydd ag ydoedd Archelaus ynddo o wneuthur taith i Rufain, a fu'n achos o derfysgiadau newyddion. Canys wedi iddo alaru am ei dad tros * saith o ddiwrnodiau, a chyfrannu gwledd angladdawl i'r lliaws: (yr hon ddefod sy'n achos o dlodi i lawer o'r Iuddewon, am eu bod yn rhwymedig i wledda'r lliaws; oblegid os gwrthodir hynny gan ryw un, ni chyfrifir ef yn sanctaidd:) efe a ymwisgodd â gwisg glaerwen, ac a aeth i fynu i'r deml, lle y cyfarchwyd ef gan y bobl â chrechwenau o lawenydd. Llefarodd yntau hefyd yn dirion wrth y lliaws, oddiar eisteddle, a gorsedd o aur; ac a ddychwelodd ddiolch iddynt am y sêl a ddangosasentynghylch claddedigaeth ei dad; a'r ymostyngiad a wnaethent iddo ei hun, fel pe buasai eisoes wedi ei sefydlu yn y deyrnas. Ond dywedodd ymhellach, nad oedd efe yn bresennol yn cymmeryd arno awdurdod brenin, na'r enwau perthynasol iddo, hyd oni byddai i Cæsar, yr hwn a wnaethid yn arglwydd yr holl achos yma trwy'r ewyllys, gadarnhau'r dilyniad yn y llywodraeth. A phan fynnai'r milwyr ddodi'r goron-bleth ar ei ben yn Jericho, efe a wrthodasai ei chymmeryd: ond y byddai iddo wneuthur taliad llawn, nid i'r sawdwyr yn unig, ond i'r bobl, am eu parodrwydd a'u hewyllys da iddo, wedi y darfyddai i'r † goruwcharglwyddi roddi iddo lawn ditl i'r frenhiniaeth: o blegid ei fyfyrdod a fyddai am geisio ymddangos ym mhob peth yn well na'i dad.

Ar hyn fe foddhaodd y lliaws; ac yn ebrwydd gwnaethant brawf o'r hyn yr oedd yn ei fwriadu, trwy ofyn pethau mawr ganddo. Canys rhai a ddadleuasant am ostyngiad yn eu trethoedd; eraill am iddo symmud ymaith drethi oddi ar angenrheidiau; ac eraill am iddo ryddhau y rhai oedd mewn carcharau. Ymherthynas i ba ryw ofynion fe wnaeth attebiad parod er eu boddlonrwydd, mewn trefn i ynnill ewyllys da y lliaws. Yna efe a offrymmodd aberthau perthynasol, ac a wleddodd gyd â'i gyfeillion. Ac yna y bu ddarfod i lawer ag oedd yn dymuno adnewyddiad, ddyfod yn dorfeydd ynghyd tu â'r hwyr, a dechrau galaru ar eu cyfrif eu hunain, wedi i'r galar cyhoeddus am y brenin fyned trosodd. Y rhai hyn a alarasant am y dynion hynny a roddasid i farwolaeth gan Herod, o herwydd torri yr eryr euraidd i lawr, yr hwn a osodasid uwch ben porth y deml. Ac nid oedd y galar hwn o ddull neillduedig; ond yr wylofain ydoedd yn fawr iawn, y galar yn bwysig, a'r cri yn fath ag y clywid ef tros yr holl ddinas, am ei fod tros rai a fuasai farw tros gyfreithiau eu gwlad, a thros y deml. Gwaeddasant hefyd allan y dylid gwneud cospedigaeth ar y dynion hynny a anrhydeddid gan Herod: ac mai yn y lle cyntaf yr hwn a wnaethai yn archoffeiriad a ddylid ei ddi-swyddo; a bod yn addas dewis un o fwy duwioldeb a phurdeb buchedd nag efe.

Wrth yr achwynion hyn Archelaus a gythruddodd: ond efe a ymattaliodd ei hun rhag ymddial ar yr awdwyr, o herwydd y brys yr

* Cyfraith neu ddefod yr Iuddewon, medd y Deon Aldrich, sydd yn gofyn saith niwrnod o alar am y marw. Hynaf. XVII. 8. Oddiwrth yr hyn y mae awdwr llyfr Ecclesiasticus, xxii. 12 yn nodi saith o ddyddiau, fel amser cymmwys i alaru tros y rhai a fuont feirw: a pen. xxxviii. 17. mae'n annog dynion i alaru am y rhai meirwon, fel na ddyweder yn ddrwg am danynt. Oblegid fel y dywed Josephus ym mlaen, os gadewid yr alar-wledd hon o'r neilldu gan ryw un, na chyfrifid hwnnw yn sanctaidd. Yn awr y mae n sicr fod y fath seith-ddydd o alar mewn arfer er amseroedd o'r hynafiaeth mwyaf, Gen. l. 10. Galar-wleddoedd a grybwyllir hefyd fel o fawr hynafiaeth. Ezec. xxxiv. 17. Jer. xvi. 7. Diar. xxxi. 6. Deut. xxvi. 14.

† Y Rhufeiniaid.

oedd ynddo i fyned i Rufain: gan ofni, os gwnai ryfel â'r lliaws, y byddai i'r cyfryw weithred ei gadw yn hir gartref. Yn ganlynol fe ymdrechodd i lonyddu'r terfysgwyr trwy berswadiad, yn hytrach na thrwy rym arfau; ac fe ddanfonodd ei gad-flaenor, mewn ffordd ddirgel attynt, a chyd ag ef a'u cynghorodd i fod yn llonydd. Ond y terfysgwyr a luchiasant gerrig atto; ac a'i gyrrasant ymaith fel ag yr oedd yn dyfod i'r deml, a chyn y gallai ddywedyd dim wrthynt. Y cyffelyb driniaeth a ddangosasant at eraill, y rhai a ddaethant attynt ar ei ol ef: amryw o ba rai a ddanfonasid gan Archelaus; mewn trefn i'w dwyn i sobrwydd a phwyll: a hwythau a'u hattebent fyth ar bob achosion mewn digllonedd a byrbwylldra. Ac fe ymddangosodd yn amlwg na fyddent lonydd, ond eu chwanegu i fwy o nifer. Ac yn wir ar ŵyl y bara croiw, yr hon ydoedd yn awr gerllaw, ac a elwir y Pasc gan yr Iuddewon, pa un a arferid ei chynnal â nifer mawr o aberthau; aneirif liaws o'r bobl a ddaethant ynghyd o'r wlad i addoli. Amryw o ba rai a safasant yn y deml, yn cwynfan o herwydd y Rabbiniaid a roesid i farwolaeth; ac a geisiasant eu cynhaliaeth trwy gardotta, i'r diben i amddiffyn eu hymryson. Wrth hyn Archelaus a ddychrynodd; ac yn ddirgel fe ddanfonodd swyddog, a mintai o filwyr gyd ag ef ar eu gwarthaf hwynt, cyn i'r ymryson ymdanu tros yr holl liaws: ac a roddodd orchymmyn am iddynt wneuthur i'r rhai a ddechreuasant y terfysg i fod yn llonydd. Wrth y rhai hyn yr holl liaws a gynhyrfodd; gan ergydio cerrig at lawer o'r milwyr, a'u lladd hwynt. Ond y tribun neu swyddog milwraidd a ffodd ymaith wedi ei archolli, a chafodd boen fawr i ddiangc felly. Ar ol hyn hwy aethant at eu haberthau, fel pe buasent heb wneuthur dim niweid. Ac nid ymddangosodd i Archelaus y gellid rhoi attaliad ar y lliaws heb dywallt gwaed. Felly fe ddanfonodd ei holl fyddin ar eu gwarthaf hwynt: y gwŷr traed yn lliaws mawr ar hyd prif-ffordd y ddinas: a'r gwŷr meirch trwy'r gwastadedd: y rhai gan syrthio arnynt yn ddisymmwth tra'r oeddynt yn offrymmu eu haberthau, a ddifethasant ynghylch tair mil o honynt. Ond gweddill y lliaws a wasgarwyd ar hyd y mynyddoedd o amgylch. Y rhai hyn a ddilynwyd gan gyhoeddwyr Archelaus; pa rai a orchymmynodd iddynt bob un i fyned ymaith i'w cartrefi eu hunain; lle'r aethant hawb oll, ac a adawsant yr ŵyl.

## PENNOD II.

*Am fordwyaeth Archelaus i Rufain, gyd â nifer mawr o'i garennydd; y cyhuddiad a osodwyd yn ei erbyn gan Antipater; a'r amddiffyniad rhagorol a wnaethpwyd trosto ef gan Nicolaus.*

ARCHELAUS a aeth i wared yn awr at lan y môr, gyd â'i fam, a'i gyfeillion, Poplas, Ptolemy, a Nicolaus; ac a adawodd ar ei ol Philip i fod yn oruchwyliwr iddo yn y palas, ac yn olygwr ei achosion teuluaidd. Salome hefyd a aeth allan gyd ag ef, a'i meibion, megis y darfu hefyd brodyr y brenin, a'i feibion y'nghyfraith. Y rhai hyn, mewn ymddangosiad, a aethant i'r diben i fod yn bob cynnorthwy ag a allent iddo ef, a'i sicrhau yn y frenhiniaeth: ond mewn gwirionedd i'w gyhuddo o doriad y gyfraith, trwy'r hyn a wnaethai yn y deml.

Ond fel yr oeddynt wedi dyfod i Cæsarea, Sabinus, rhaglaw Syria, a'u cyfarfu hwynt. Yr oedd efe yn myned i fynu i Judea, i ddiogelu eiddo Herod: Ond Varus, llywydd Syria, yr hwn a ddaethai yno, a'i rhwystrodd ef i fyned ymhellach. Y Varus hwn a ddanfonasai Archelaus am dano, ar daer ddeisyfiad Ptolemy. Ar yr amser hwn yn wir, Sabinus, i foddloni Varus, nid aeth ychwaith y pryd hwn i'r tŵr, ac ni chauodd i fynu y trosorfeydd lle'r oedd arian ei dad wedi eu gosod i fynu: ond fe addawodd eu gadael yn llonydd, nes y gwyddai Cæsar am yr holl achosion. Felly fe arhosodd yn Cæsarea. Ond cyn gynted ag yr aeth y rhai oedd yn rhwystr iddo ymaith, pan aeth Varus i Antioch, ac Archelaus i Rufain, yntau yn union-gyrch a aeth rhagddo i Jerusalem, ac a oresgynnodd y palas. Ac wedi iddo alw am lywodraethwyr y tŵr, a goruchwylwyr achosion neillduol y brenin, efe a ymdrechodd i gael allan gyfrifon o'r arian, ac i gymmeryd meddiant o'r tŷrau. Ond nid oedd llywodraethwyr y tŷrau hynny yn anghofus o'r gorchymmyn a ddodasid arnynt gan Archelaus: a pharhausant i wylio arnynt; ac a ddywedasant fod eu cadwraeth yn perthynu yn hytrach i Cæsar, nag i Archelaus.

Yn y cyfamser Antipas a aeth i Rufain, i ymdrechu am y deyrnas; ac i haeru fod yr ewyllys rhagflaenol, ym mha un yr enwasid ef yn frenin, wedi ei gadarnhau cyn y diweddaf. Salome hefyd a addawsai ei gynnorthwyo ef fel yr addawsai amryw o berthynasau Archelaus, y rhai a fordwyasent gyd ag ef. Efe hefyd a ddug ei fam gyd ag ef, a Ptolemy, brawd Nicolaus; yr hwn a ymddangosodd yn un o bwys mawr, ar gyfrif yr ymddiried oedd gan Herod ynddo, ag efe yn un o'i gyfeillion pennaf. Pa fodd bynnag, yr oedd Antipas yn hyderu yn fwyaf ar Irenius, yr areithiwr; trwy awdurdod pa un y gwrthododd wrando y rhai oedd yn ei gynghori i adael y deyrnas i Archelaus, o herwydd ei fod yn frawd hynaf; ac oblegid fod yr ail ewyllys yn pennodi'r deyrnas iddo ef. Yr oedd hefyd duedd holl garennydd Archelaus, y rhai oeddynt yn ei gashau ef, yn gogwyddo at Antipas, pan ddaethant i Rufain: er ymlaenaf lle, yr oedd pob rhai yn ewyllysio byw tan eu cyfreithiau eu hunain, heb un brenin; a bod tan lywodraethwr Rhufeinig. Ond os methent yn y pwngc hwnnw, eu dymuniad ydoedd i Antipas fod yn frenin.

Sabinus hefyd a estynodd ei gynnorthwy i'r un pwrpas, trwy'r llythyrau a ddanfonodd: ymha rai y cyhuddodd Archelaus o flaen Cæsar, ac a fawr ganmolodd Antipas. Salome hefyd, a'r rhai oedd gyd â hi, a ddodasant y beiau pa rai y cyhuddasant Archelaus o'u plegid, mewn trefn yn ysgrifenedig, ac a'u rhoddasant yn nwylaw Cæsar. Ac wedi iddynt wneuthur hynny, Archelaus a 'sgrifennodd i lawr y rhesymmau o'i hawl i'r teyrnasiad; a chyd â Ptolemy fe ddanfonodd fodrwy ei dad, a chopi o'i gyfrifon. Ac wedi i Cæsar yn bwyllus ystyried ynddo ei hun y pethau oedd gan y naill a'r llall o honynt i ddadleu trosto ei hun: a chan ystyried hefyd feichiau mawrion y deyrnas, a maintioli y deyrnged; a chyd â'r cwbl rifedi plant Herod, y rhai a adawodd o'i ol; ac wedi ymhellach ddarllen y llythyrau a dderbyniodd oddiwrth Varus, a Sabinus ar yr achos hwn: efe a alwodd ynghyd y gwŷr pennaf ym mysg y Rhufeiniaid, (ymha dyrfa † Caius, mab Agrippa, a'i ferch Julias; ond wedi ei mabwysiadu ganddo ef i'w fab ei hun, a eisteddasant ymlaenaf;) ac a roddasant le i'r dadleuwyr i lefaru.

Yna y safodd i fynu fab Salome; pa un o holl wrthwynebwyr Archelaus oedd y mwyaf egnïol; yr hwn a'i cyhuddodd mewn araith o'r dull canlynol. Dywedodd fod Archelaus mewn geiriau yn ymryson am y deyrnas; ond ei fod mewn gweithredoedd er's hir amser yn ymarfer awdurdod frenhinol; ac felly nid oedd ond rhoi ammarch ar Cæsar, trwy ddymuned cael ei wrando yn awr ymherthynas i hynny; gan nad arhosodd i gael gwybod am ei benderfyniad ef ynghylch y dilyniad; a dirgel-lithio o hono rai personau, yn ol marw Herod, i ofyn am gael dodi'r goron-bleth ar ei ben; a darfod iddo eistedd i lawr ar yr orseddfaingc, a rhoddi attebion fel brenin, a chyfnewid trefn y fyddin, a chaniattau graddau o uwchafiaeth. Ac efe a gydsyniodd hefyd â'r bobl yn y gofynion a wnaethant megis eu brenin; a gollwng o hono yn rhyddion y rhai a ddodasid mewn rhwymau gan ei dad am achosion pwysfawr. Etto ar ol hyn i gyd, efe a ddymunai gysgod awdurdod frenhinol, sylwedd pa un eisoes a feddiannodd iddo ei hun; ac felly a wnai Cæsar yn arglwydd, nid ar bethau, ond ar eiriau. Gwaradwyddodd ef hefyd ymhellach, â dywedyd, nad oedd ei alar am ei dad ond ffugiol; pan ymddangosodd yn y dydd ag wynebpryd trist, ac a yfai i ormodedd yn y nos: oddiwrth ba ymddygiad y dywedodd darddu y diweddar derfysgau ym mysg y lliaws, tra'r oeddynt yn ddig wrtho ef o'i blegid. Ac yn wir diben yr holl araith hon ydoedd i chwanegu bai Archelaus yn lladd y fath liaws o bobl o amgylch y deml: pa ryw liaws a ddaethent i'r ŵyl, ond a † laddwyd yn farbaraidd ynghanol eu haberthau: ac efe a ddywedodd fod y fath nifer aorhaethol o gyrph meirwon wedi eu pentyrru ar eu gilydd yn y deml, fel na buasai rhyfel tramor, a'u goddiweddasai yn ddisymmwth cyn ei gyhoeddi, yn achos o'r cyffelyb. Ac efe a chwanegodd, mai rhagweledIad ei dad o'i farbariaeth, ydoedd yr hyn a barodd iddo attal oddiwrtho unrhyw obaith am y deyrnas, ond pan oedd ei feddwl â mwy gwendid ynddo na'i gorph, fel na's gallai ymresymmu yn synhwyrol; ac na's gwyddai yn dda am ddull ymddygiad y mab hwnnw a enwasai yn ei ail-ewyllys i deyrnasu yn ei le. A'r cyntaf a wnaethid pan nad oedd ganddo ddim

* Deon Aldrich sy'n sylwi, nad oedd Caius y pryd hwn ond deng mlwydd oed. † Luc xiii. 1.

achwynion i wneuthur arno, yr hwn a enwasai o'r blaen pan ydoedd â chorph iachus, a'i feddwl yn rhydd oddiwrth ddigofaint. Pa fodd bynnag, os meddyliai neb fod barn Herod, pan ydoedd glaf, yn rhagorach nag ar amser arall; etto'r oedd Archelaus wedi ei ddifuddio o'i hawl i'r deyrnas trwy ei ymddygiad ei hun, a thrwy'r gweithredoedd hynny ag oedd wrthwyneb i'r gyfraith, ac er ei hanfantais: "Neu pa fath frenin," eb efe, "a fydd y dyn hwn, wedi iddo gael yr awdurdod gan Cæsar, ag a laddodd gynnifer cyn ei meddiannu hi?"

Wedi i Antipater areithio yn helaeth i'r pwrpas hwn, a chael llawer o garennydd Archelaus megis yn dystion, i brofi pob rhan o'r cyhuddiad; Nicolaus a safodd i fynu i ddadleu tros Archelaus. Fe sicrhaodd am y lladdfa a wnaethpwyd yn y deml ei bod yn anocheladwy: bod y rhai a laddesid wedi dyfod yn elynion nid i deyrnasiad Archelaus yn unig, ond i Cæsar, yr hwn oedd i benderfynu yn ei gylch ef. Efe hefyd a brofodd, ddarfod i gyhuddwyr Archelaus ei annog i gyflawni y weithred fyrbwyll honno, am ba un y gellid ei gyhuddo. Ond efe a gadarnhaodd, mai'r ewyllys diweddaf, uwchlaw pob rhai eraill, a ddylid ei gyfrif o rym; o herwydd i Herod yn hwnnw appwyntio Cæsar i fod yr unig berson cyfaddas i sefydlu a chadarnhau'r teyrnasiad. Canys yr hwn a ddangosodd gymmaint o gallineb ag i ymwadu â'i awdurdod ei hun, a'i drosglwyddo trosodd i arglwydd y byd, ni ellid meddwl ei fod yn camsynied yn ei farn, ynghylch yr hwn a fyddai ei etifedd. Ac efe yr hwn a wyddai yn dda pwy i ddewis yn farnwr ar y dilyniad, ni allai fod yn anadnabyddus o'r hwn a ddewisodd yn ddilynwr iddo.

Wedi i Nicolaus fyned trwy'r hyn oll oedd ganddo i'w ddywedyd, Archelaus a ddaeth ac a syrthiodd i lawr wrth liniau Cæsar, yr hwn a'i cyfododd i fynu mewn modd tra gostyngedig; ac a addefodd ei fod yn deilwng o ddilyniad yn y llywodraeth ar ol ei dad. Pa fodd bynnag, ni wnaeth un penderfyniad cadarn ar ei ran ef. Ond wedi gollwng ymaith y barnwyr a fuasai gyd ag ef y dydd hwnnw, efe a ystyriodd wrtho ei hun y pethau a wrandawodd; pa un a ydoedd yn gymmwys gosod rhyw un a enwasid yn y llythyrau-cymmun i deyrnasu yn lle Herod; neu a ddylid rhannu'r llywodraeth rhwng ei holl hiliogaeth; a hynny o blegid nifer y rhai a ymddangosodd yn sefyll mewn angen o gynhaliaeth oddiwrth hynny.

## PENNOD III.

*Yr Iuddewon yn ymladd brwydr wrthnysig â milwyr Sabinus; a distryw mawr yn cael ei wneuthur yn Jerusalem.*

CYN i Cæsar benderfynu un peth ynghylch yr achosion hyn, Malthace, mam Archelaus, a syrthiodd yn glaf, ac a fu farw. Llythyrau hefyd a ddygwyd o Syria, oddiwrth Varus, ynghylch gwrthryfel gan yr Iuddewon. Hyn a rag-welasid gan Varus: yr hwn, yn ganlynol i ymadawiad Archelaus, a aeth i fynu i Jerusalem i attal blaenoriaid yr ymryson, gan fod yn amlwg na orphwysai'r genedl. Felly fe adawodd un o'r llengau a ddygasai gyd ag ef o Syria yn y ddinas, ac a aeth ei hun ymaith i Antioch. Ond Sabinus a ddaeth, yn ol iddo fyned ymaith, ac a roddodd iddynt achos i wneuthur terfysgoedd. Canys efe a gymhellodd geidwad y tŷrau i'w rhoddi i fynu iddo ef: ac efe a wnaeth ymofyniad manwl am drysorau'r brenin: gan hyderu nid yn unig ar y milwyr a adawsid gan Varus, ond ar y lliaws o'i weision ei hun; y rhai a arfogodd oll, ac a ddefnyddiodd yn offerynnau i'w gybydd-dra. Yn awr pan oedd yr ŵyl, a gedwid yn ol saith o wythnosau, a'r hon a alwai'r Iuddewon y Pentecost, gerllaw; (pa enw a gymmerasid oddiwrth rifedi o ddyddiau ar ol y Pasg;) y bobl a ddaethant ynghyd: ond nid ar gyfrif y defodol addoliad dwyfol, ond oblegid amgylchiad presennol yr achosion. Tyrfa aneirif gan hynny a grynhoisant ynghyd allan o Galilea, Idumea, Jericho, a Perea, yr hon ydoedd tu hwnt i'r Iorddonen: Ond y bobl berthynol i Judea ei hun ydoedd uwchlaw y lleill, yn gystal mewn rhifedi a bywiogrwydd y dynion. Felly hwy a ddosparthasant eu hunain yn dair rhan, ac a wersyllasant mewn tri o fannau. Un ddosparth ydoedd ar du gogledd y deml; y llall ar y tu deheuol, wrth yr Hippodrome; a'r drydedd ran oedd wrth y palas, o du'r gorllewin. Felly hwy a amgylchasant y Rhufeiniaid ar bob tu, ac a warchaeasant arnynt.

Yn awr Sabinus a ddychrynwyd wrth eu

lliosowgrwydd a'u gwrolder; ac a ddanfonodd yn barhaus at Varus, i ddymuned arno ddyfod i'w gynnorthwyo yn ebrwydd; oblegid os oedai wneuthur hynny, ei leng o filwyr a dorrid yn ddrylliau. Am Sabinus ei hun efe a aeth i fynu i'r tŵr uchaf yn yr amddiffynfa a elwid Phasaelis; yr hon sydd o'r un enw â brawd Herod, yr hwn a ddifethasid gan y Parthiaid: ac yna fe wnaeth arwydd i'r milwyr o'r lleng honno i ymosod ar y gelyn. Canys ei syndod ydoedd mor fawr, na's meiddiai fyned i wared at ei wŷr ei hun. Ar hyn y milwyr a orfuwyd ac a neidiasant o'u sefyllfa bresennol i fyned i mewn i'r deml, ac a ymladdasant frwydr erchyll â'r Iuddewon. Ym mha un, tra'r oedd heb neb uwch eu penau i'w haflonyddu hwynt, yr oeddynt yn rhy galed iddynt wrth eu medr, a diffyg medrusrwydd y lleill mewn rhyfel. Ond wedi i amryw o'r Iuddewon ddringo i ben y 'stefyll-dai, ac ergydio eu saethau i lawr ar bennau y Rhufeiniaid, darfu i lawer o honynt gael eu difetha. Ac nid hawdd oedd iddynt ddial eu hunain ar y rhai a fwriasant eu saetha oddi uchod: ac nid haws oedd iddynt ymgynnal yn erbyn y rhai a ddeuent i ymladd lawlaw â hwynt. *

Gan fod y Rhufeiniaid, oblegid hyn, yn cael eu blino yn dost trwy amryw amgylchiadau, hwy a osodasant y 'stefyll-dai ar dân: y rhai a ryfeddid o ran eu gwneuthuriad a'u ehangder. Ar hyn y rhai oedd ar eu nen a amgylchynwyd yn fuan â'r fflam, a llawer o honynt a ddifethwyd ynddi; megis ag y difethwyd llawer o honynt hefyd gan y gelyn, y rhai a ddaethant yn ddisymmwth arnynt. Rhai o honynt hefyd a fwriasant eu hunain i lawr oddi ar y muriau y tu cefn; a rhai, ar gyfrif y cyflwr anobeithiol yr oeddynt ynddo, a ragflaenasant effaith y tân trwy syrthio ar eu cleddyfau eu hunain. Ond cynnifer ag a ymlusgodd allan oddi ar y muriau, ac a wynebasant y Rhufeiniaid, a drechid yn hawdd ganddynt, ar gyfrif y dychryn yr oeddynt ynddo. Nes o'r diwedd, wedi difetha rhai o'r Iuddewon, a gwasgaru o'r lleill yn eu dychryndod, y milwyr a gwympasant ar drysor Duw, ag oedd yn awr wedi ei adael, ac a yspeiliasant ynghylch pedwar cant o dalentau: o ba swm Sabinus a gasglodd ynghyd y cwbl a'r na ddygwyd ymaith gan y milwyr.

* Hynaf. XVII. 10.

Pa fodd bynnag y distryw hwn o'r gwaith o amgylch y deml, ac o'r dynion, a barodd i lawer mwy o rifedi, a rhai o ddull milwraidd, i ddyfod ynghyd i wrthwynebu y Rhufeiniaid. Hwy a amgylchynasant y palas; ac a fygwthiasant ddifetha 'r hyn oll oedd ynddo, oddieithr iddynt fyned ymaith yn ddi-oed. Ond addawsant na ddeuai dim niweid ar Sabinus, os âi efe allan gyd â'r lleng o filwyr. Yr ydoedd hefyd amryw o blaid y brenin a ymadawsant oddi wrth y Rhufeiniaid, i gynnorthwyo 'r Iuddewon. Etto darfu i'r corph mwyaf rhyfelgar o honynt, y rhai oeddynt dair mil o wŷr Sebaste, fyned trosodd at y Rhufeiniaid. Rufus hefyd, a Gratus, eu cadbeniaid, a wnaethant yr un peth. (Gratus ydoedd â'r gwŷr traed o blaid y brenin tano, a Rufus y gwŷr meirch:) pob un o ba rai, ïe heb y lluoedd tanynt, oeddynt o bwys mawr, ar gyfrif eu grymmusder a'u callineb, yr hyn sy'n troi 'r fantol mewn rhyfel. Yn awr yr Iuddewon a barhausant yn y cynllwyn, ac a geisiasant dynnu i lawr furiau 'r amddiffynfa: ac a lefasant allan ar Sabinus a'i blaid, ar iddynt ymadaw ymaith, a pheidio bod yn rhwystr iddynt, pan oeddynt yn awr yn gobeithio, wedi hir amser, adferyd y rhyddid ag oedd eu teidiau yn ei fwynhau. Sabinus yn wir ydoedd dra boddlon i fyned allan o'r perygl yr oedd ynddo: ond yr oedd ef yn anhyderus o'r sicrwydd a roddai yr Iuddewon iddo; ac a wan-ffyddiodd fod y fath ammod esmwyth yn cael ei fwriadu fel magl iddynt. Yr ystyriaeth yma, gyd â'r gobaith am gynnorthwy oddi wrth Varus, a barodd iddo oddef y cynllwyn tros hwy amser.

## PENNOD IV.

*Am derfysg a dorrodd allan ym mysg milwyr profiadol Herod; yspeiliadau Judas; a honiad y titl brenhinol gan Simon ac Athrongeus.*

AR yr amser hwn yr oedd aflonyddwch mawr yn y wlad, a hynny mewn amrywiol fannau. A'r cyfleustra oedd yn awr yn ymgynnyg ei hun a barodd i lawer osod i fynu am y frenhiniaeth. Ac yn wir yn Idumea, dwy fil o'r rhai a fuasai gynt yn myddin Herod a ddaethant ynghyd, gan ymarfogi ei hunain, ac ymladd â'r rhai o blaid y brenin. Yn erbyn pa rai Achiabus, cefnder y brenin, a ymladdodd; a hynny allan o rai o'r lleoedd a gyfrifid yn gadarnaf: ond yn y cyfryw fodd ag i allu gochelyd ymladd â hwynt yn y gwastadedd.

Yn Sepphoris hefyd, dinas o Galilea, yr ydoedd un Judas, mab yr arch-yspeiliwr hwnnw* Hezechias, yr hwn gynt a oresgynnasai y wlad, ac a ddarostyngwyd gan y brenin Herod. Y dyn hwn a gafodd nifer nid bychan ynghyd, ac a dorrodd i mewn i'r lle ym mha un yr oedd y frenhinol arfogaeth ynghadw; ac a arfogodd y rhai oedd gyd ag ef, gan ymosod ar y sawl oedd mor danbaid am gael yr arglwyddiaeth.

Yn Perea hefyd, Simon, un o wasanaethwyr y brenin,gan hyderu ar brydferthwch ei ymddangosiad, ac uchder ei gorph, a osododd goronbleth ar ei ben. Efe hefyd a aeth o amgylch â chwmpeini o yspeilwyr oedd wedi ymgrynhoi ynghyd; ac a losgasant i lawr y palas brenhinol oedd yn Jericho, a llawer o adeiladau costfawr eraill; ac a gafodd yspail lawer iddo ei hun trwy ysglyfaethu, a'u cipio megis allan o'r tân. Ac fe fuasai yn fuan wedi llosgi 'r holl balasau, pe na buasai i † Gratus, cadben y gwŷr traed o blaid y brenin, gymmeryd anelwyr Trachonite, a'r rhai mwyaf rhyfelgar o Sebaste, gyfarfod â'r dyn. Amlder o'i wŷr traed a laddwyd yn y frwydr. Gratus hefyd a oresgynnodd Simon ei hun ar ei ffoedigaeth trwy ddyffryn cul, gan roddi iddo ergyd gŵyrdraws ar ei wddf, a'i dorri yn ei redfa ymaith o'i flaen. Y palasau brenhinol gerllaw 'r Iorddonen, yn Betharamphtha, a losgwyd hefyd i lawr, trwy rai eraill o'r ymrysonwyr a ddaethent o Perea. ‡

Ar y pryd hwn rhyw fugail a enwid Athrongeus, a anturiodd osod ei hun i fynu am y frenhiniaeth. Grymmusder ei gorph oedd yr hyn a barodd iddo ddisgwyl y fath fawredd; yn gystal ai feddwl, ag oedd yn dirmygu marwolaeth: ac heblaw y cynneddfau hyn yr oedd ganddo bedwar o frodyr tebyg iddo ei hun. Efe a osododd lu o wŷr meirch tan olygiad pob un o'i frodyr; ac a wnaeth ddefnydd o honynt hwy fel cad-flaenoriaid pan wnelai wrthryfel, pryd yr ymddangosai ei hun megis brenin; ac a driniodd ei hun yr achosion mwyaf pwysfawr. Ac ar yr amser hwn fe ddododd goronbleth o amgylch ei ben; ac a barhaodd yn ol hynny, tros amser nid bychan, i oresgyn y wlad gyd â'i frodyr: ac a ddaeth yn arweinydd iddynt i ladd y Rhufeiniaid a'r rhai o blaid y brenin. Ac ni ddarfu i un Iuddew ddiangc rhagddo, os deuai rhyw elw iddo wrth hynny. Efe unwaith a anturiodd amgylchu llu o Rufeiniaid yn Emmaus, y rhai oeddynt yn dwyn ŷd i'w byddin. Ei wŷr a ergydiasant attynt saethau a phiccellau, ac wrth hynny a laddasant eu canwriad Arius, a deugain o'r rhai cryfaf o'i wŷr; tra y darfu i'r gweddill o honynt, ag oedd mewn perygl o'r un digwyddiad, ar ddyfodiad Gratus, gael diangfa. Ac wedi i'r dynion yma fel hyn wneud gwasanaeth i'w cydwladwyr a diethriaid, a hynny trwy 'r holl ryfel hwn; tri o honynt ym mhen rhyw amser a ddarostyngwyd; yr hynaf gan Archelaus; y ddau nesaf trwy syrthio i ddwylaw Gratus a Ptolemeus. Ond y pedwerydd a roddodd ei hun i fynu i Archelaus, ar ei waith yn rhoddi iddo ei ddeheulaw er ei ddiogelwch. Pa fodd bynnag ni bu eu terfyniad hwn hyd ryw amser yn ol hynny; tra yn bresenol yr oeddynt yn llenwi holl Judea â rhyfel lladronaidd.

## PENNOD V.

*Varus yn llonyddu y terfysgoedd yn Judea; ac yn croeshoelio ynghylch dwy fil o'r ymrysonwyr.*

AR dderbyniad Varus o'r llythyrau a ysgrifennwyd gan Sabinus, ynghyd â'r cadbeniaid; ni allai lai nag ofni am yr holl leng o filwyr a adawyd yno. Felly fe brysurodd i'w cynnorthwyo hwynt; a chymmerodd gyd ag ef y ddwy leng eraill, gyd â phedwar llu o wŷr meirch perthynol iddynt, ac a aeth rhagddo tu â Ptolemais; wedi rhoddi gorchymmyn am i'r cynnorthwyon a ddanfoned gan y brenin, a llywodraethwyr dinasoedd i'w gyfarfod yno. Ymhellach fe dderbyniodd oddiwrth boblBerytus, fel yr oedd yn myned heibio trwy eu dinas, bymtheg cant o wŷr arfog. Yn awr, cyn gynted ag y daeth y cynnorthwyadon eraill i Ptolemais, yn gystal ag Aretas yrArabiad; (yr hwn, oddiwrth y casineb oedd ganddo at Herod, a ddygodd fyddin luosog o wŷr meirch a thraed;)Varus a ddanfonodd ran o'i fyddin yn ebrwydd i Galilea, yr hon oedd yn agos i Ptolemais; a Caius, un o'i gyfeillion, yn gadben arnynt. Y Caius hwn a ddododd y rhai a gyfarfu ag ef i ffoi, ac a gymmerodd y ddinas Sepphoris, ac ai llosgodd hi; ac a wnaeth ei thrigolion yn gaeth-weision. Ond am

* Gwel Llyfr I. pen. 10.

† Tacitus a ddywed ddarfod i'r rhithfrenin hwn, Simon, gael ei lladd gan Qintilius Varus, yr hwn oedd y pryd hynny yn rhaglaw Syria: pan y mae Josephus yn dywedyd yma, ac yn Hynaf XVII. 10. ddarfod ei ladd gan Gratus, cad-flaenor gwŷr traed y Rhufeiniaid, ac nid gan Varus: a chyd ag ychydig gyfnewid yn nhrefn yr ymadrodd, Tacitus a gyttuna â Josephus.

‡ Hynaf. XVII. 10.

Varus ei hun, efe a gyrchodd i Samaria, gyd â'i holl fyddin: lle ni chyffyrddodd â'r ddinas ei hun, o blegid iddo gael na wnaethai ddim cythrwfl yn oed y terfysgoedd hyn; ond efe a wersyllodd o amgylch pertref a elwid Arus. Yr ydoedd yn perthynu i Ptolemy; ac ar y cyfrif hwnnw fe'i hyspeiliwyd gan yr Arabiaid, y rhai oeddynt dra digllon wrth gyfeillion Herod hefyd. Oddi yno fe aeth ymlaen i'r pentref Sampho, lle arall oedd ag amddiffynfa ynddi, pa un a yspeiliasant megis y llall; canys hwy a ddygasant ymaith yr arian a gawsant yn perthyn i'r deyrnged gyffredin. Y cwbl oedd yn awr yn llawn o dân a thywalltiad gwaed, ac ni allai dim wrthsefyll difrod yr Arabiaid. Emmaus hefyd a losgwyd ar ffoedigaeth ei thrigolion; a hyn ar orchymmyn Varus, o herwydd ei gynddaredd at y lladdfa a wnaethid yno o amgylch Arus.

Yna fe aeth rhagddo i Jerusalem; a chyn gynted ag y canfuwyd ef gan yr Iuddewon, parodd i'w gwersylloedd wasgaru ymaith. Hwy hefyd a grwydrasant i fynu ac i wared o gwmpas y wlad. Ond y dinasyddion a'u derbyniasant; gan glirio eu hunain oddi wrth fod ganddynt un llaw yn y terfysg; dywedasant na pharasant hwy un aflonyddwch; ond gwneuthur iddynt ollwng y lluaws i mewn o blegid yr ŵyl: a'u bod hwy yn hytrach dan gynllwyn gyd â'r Rhufeiniaid, nag yn cynnorthwyo y rhai a wrthryfelasant. Cyfarfuasai ag ef o flaen hyn Joseph, cefnder Archelaus; a Gratus gyda Rufus, y rhai a arweiniodd y gwŷr hynny o Sebaste, yn gystal a byddin y brenin. Cyfarfu ag ef hefyd y rhai hynny o'r lleng Rufeinaidd, wedi ymarfogi yn ol eu dull cyffredin. Oblegid am Sabinus ni feiddiai ddyfod i olwg Varus; ond a aethai cyn hyn allan o'r ddinas at lan y môr. Ond Varus a ddanfonodd ran o'i fyddin i'r wlad, yn erbyn y rhai a fuasent yn awdwyr y terfysgoedd hyn. Ac fel y daliasant nifer fawr o honynt, y rhai a ymddangosent eu bod leiaf yn perthyn i'r gwrthryfel a ddodasant yngharchar; ond y rhai mwyaf euog a groeshoeliodd efe, hyd y nifer o gylch dwy o filoedd.

Hyspyswyd iddo hefyd fod yn Idumea ddwy fil o wŷr yn parhau tan arfau. Ond pan wybu nad oedd yr Arabiaid yn gweithredu fel cynnorthwyadon, ond yn trefnu y rhyfel yn ol eu tueddrwydd eu hunain; a gwneuthur o honynt fwy o ddrygau yn y wlad nag oedd efe yn bwriadu, a hyn oddi ar eu casineb blaenorol at Herod, fe 'u danfonodd hwynt ymaith. Ond efe a wnaeth frys gyd â'i lengau ei hun, i wneud ymgyrch yn erbyn y rhai a wrthryfelasent. Ond y rhai hyn, wrth gyngor Achiabus, a roddasant eu hunain i fynu, cyn iddo ddyfod i frwydr. Yna y darfu i Varus faddeu i'r lliaws eu troseddiadau; ond a ddanfonodd eu cadbeniaid at Cæsar, i gael eu holi ganddo ef. Yn awr Cæsar a faddeuodd i'r lleill; ac a roddodd orchymmyn fod i rai o berthynasau 'r brenin, (canys rhai o'r terfysgwyr oeddynt o garennydd Herod,) gael eu rhoddi i farwolaeth, o herwydd iddynt ymrwymo i ryfela yn erbyn brenin o'u tylwyth eu hunain. Wedi i Varus gan hynny sefydlu matterion yn Jerusalem yn ol y drefn yma, a gadael y lleng ragflaenol yno, efe a ddychwelodd i Antioch.

## PENNOD VI.

*Am achwynion yr Iuddewon yn erbyn Archelaus; Cæsar yn dosparthu arglwyddiaethau Herod rhwng ei feibion.*

OND yn awr daeth achwyniaeth oddi wrth yr Iuddewon yn erbyn Archelaus yn Rhufain, yr hwn ydoedd efe i atteb iddo. Cafodd ei wneuthur gan y rhai oedd gennadwyr o flaen y gwrthryfel, y rhai a ddaethant trwy ganiattâd Varus i ddadleu tros ryddid eu gwlad. Y rhai a ddaethent trosodd i Rufain oeddynt ddeg a deugain o nifer. Ond yr ydoedd mwy nag wyth mil o'r Iuddewon yn Rhufain ag oedd yn eu cynnorthwyo hwynt. Ac wedi i Cæsar gasglu cyngor ynghyd o'r Rhufeiniaid pennaf yn * nheml Apollo, ac ydoedd yn y palas, (yr hwn a adeiladasai ei hun, ac a addurnasai ar draul fawr:) y lliaws o Iuddewon a safasant gyd â'r cennadwyr, ac ar y tu arall y safai Archelaus, gyd â'i gyfeillion. Ond am garennydd Archelaus, ni safasant hwy ar un ochr. Canys i sefyll ar du Archelaus ni adawai eu casineb a hono iddynt ei wneuthur, tra 'r oeddynt etto yn cywilyddio eu gweled gan Cæsar gyd â'i gyhuddwyr. Heblaw y rhai hyn yr ydoedd yn bresennol frawd

* Y cynhaliad cyngor hwn yn nheml Apollo, ym mhalas yr ymerawdr yn Rhufain, gan Augustus, ynghyd ag adeiladaeth y deml hon ganddo ei hun yn y palas hwnnw, sydd yn gymmwys yn cyttuno â hanes Augustus, yn ei hynaf flynyddoedd, fel y mae Aldrich a Spanheim yn sylwi, ac yn profi o Suetonius a Propertius.

Archelaus, Philip; wedi ei ddanfon yno ym mlaen llaw gan Varus, am ddau o resymmau: un ydoedd, fel y byddai yn gynnorthwy i Archelaus; a'r llall, os gwnai Cæsar raniad o'r hyn a etifeddodd Herod ym mysg ei hiliogaeth, y gallai efe gael rhan o honynt. *

Yn awr, ar y caniattad a roddwyd i'r cyhuddwyr i lefaru, hwy a aethant yn gyntaf tros y rhwygiadau a wnaethai Herod ar eu cyfraith, ac a ddywedasant nad brenin ydoedd Herod, ond y creulonaf o bob gorthrymwyr; a darfod iddynt hwy ei deimlo felly trwy'r dioddefiadau a aethant tanynt o'i herwydd, Mai wedi i nifer dra mawr gael eu lladd ganddo, y rhai a adawyd a ddioddefasant y fath flinderau, fel ag yr oeddynt yn cyfrif y rhai a fuasant feirw yn ddedwyddol. Ddarfod iddo nid yn unig arteithio cyrph ei ddeiliad, ond dinasoedd cyfain; ac a wnaethai lawer o niwed i ddinasoedd ei wlad ei hun, tra 'r oedd yn addurno rhai a berthynent i ddieithriaid: ac efe a dywalltodd waed yr Iuddewon, mewn trefn i ddangos caredigrwydd i'r rhai oedd allan o'n terfynau. Ddarfod iddo lenwi y genedl â llawnder o dlodi, a drygau mwyaf; yn lle y dedwyddwch hwnnw, a'r cyfreithiau yr oeddynt gynt yn ei fwynhau. Ddarfod, yn fyrr, i'r Iuddewon ddioddef mwy o drallodion oddi wrth Herod, mewn ychydig flynyddau, nag a ddioddefasai eu tadau, yn oed y cyfwng hwnnw o amser a aethai heibio wedi eu dychweliad adref o Babilon, tan deyrnasiad † Xerxes. Bod y genedl, pa fodd bynnag, wedi dyfod i gyflwr mor isel, trwy ymgynnefino â chaledi, fel yr ymostyngasant i'w ddilynwr o honynt eu hunain, er dwyn o hono hwynt i chwerw gaethiwed. Mai, yn ganlynol, ddarfod iddynt roddi galwad parod i Archelaus, er mai mab ydoedd i gymmaint gorthrymwr, i fod yn frenin yn ol marwolaeth ei dad, ac a unasant ag ef yn y galar am farwolaeth Herod, ac yn ewyllysio iddo lwyddiant: pan yn y cyfamser y darfu i'r Aarchelaus hwn, rhag bod mewn perygl o beidio cael ei gyfrif yn wir fab Herod, ddechreu ei deyrnasiad â llofruddiad tair mil o ddinasyddion; fel pe buasai ewyllys ganddo i offrymmu cynnifer o aberthau gwaedlyd i Dduw tros ei lywodraeth, a llenwi 'r deml â'r cyffelyb nifer o gyrph meirwon ar yr ŵyl honno. Mai, pa fodd bynnag, fod i'r rhai a adawyd, yn ol cymmaint o gamweddau, achos cyfiawn i ystyried yn awr o'r diwedd, y trallodion a aethent trwyddynt; ac i wrthsefyll, megis milwyr mewn rhyfel, y rhai a'u tarawent ar eu hwynebau, ond nid ar eu cefnau, megis hyd yma. Gan hynny yr oeddynt yn attolygu ar fod i'r Rhufeiniad dosturio wrth weddillion truain Judea, ac na adawont yr hyn oedd yn aros o honynt i'r rhai yn farbaraidd a'u rhwygent yn ddrylliau; a bod iddynt gysylltu eu gwlad hwynt â Syria, a gweinyddu 'r llywodraeth trwy eu rhaglawiaid eu hunain: trwy 'r hyn yr amlygid yn fuan, y byddai i'r rhai ag oedd yn awr tan yr enllib o fod yn bobl ymrysongar, ac yn carn rhyfel, yn gwybod pa fodd i gyd-ddwyn â llywodraethwyr a osodid arnynt, os byddai iddynt ond bod yn rhai cymmedrol. Yr Iuddewon gan ddiweddu eu cyhuddiad â'r deisyfiad hwn, Nicolaus a gyfododd i fynu, ac a wrth-ddywedodd y cyhuddiadau a osodwyd yn erbyn y brenhinoedd; ‡ ac ei hun a gyhuddodd y genedl Iuddewig, fel rhai anhawdd eu llywodraethu, ac o naturiaeth yn annufudd i frenhinoedd. Efe hefyd a waradwyddodd yr holl garennydd hynny i Archelaus, y rhai a'i gadawsant, ac a aethant trosodd at ei gyhuddwyr.

Felly Cæsar wedi rhoddi gwrandawiad i bob ochr, a ollyngodd ymaith y dyrfa tros yr amser hwnnw. Ond ym mhen ychydig ddyddiau fe § roddodd un hanner teyrnas Herod i Archelaus gyd â'r titl o detrarch; ac a addawodd hefyd ei wneud yn frenin yn ol hynny, os ymddygai ei hun yn deilwng o'r fath fawredd. Ond am y rhan arall, fe'i gosododd yn ddwy detrarchiaeth, ac a'u rhoddodd i ddau o feibion eraill Herod: un o honynt i Philip, a'r llall i'r Antipas hwnnw a ymrysonodd ag Archelaus am y deyrnas: o tan y diweddaf hwn yr oedd Perea a Galilea,

* Hynaf. XVII. 11.

† Yma y mae gennym gadarnhad cryf, mai Xerxes, ac nid Artaxerxes ydoedd yr hwn, tan ba un y darfu i'r rhan fwyaf o'r Iuddewon ddychwelyd o'r caethiwed Babilonaidd; h. y. yn nyddiau Ezra a Nehemia. Yr hyn a gyttuna yn gymmwys â hen Hebraeg Josephus, ond nid â'n diweddar gopiau Hebraeg neu Roeg o'r eiddom ni. Gwel Hynaf. XI, 5.

‡ Herod ac Archelaus.

§ Y Deon Aldrich sydd yn gosod i lawr yma yr ymadroddion hynny o'r eiddo Tacitus a Strabo, ag sydd yn cadarnhau yr hyn a ddywed Josephus yma, ac yn Hynaf. XVII. 13. Geiriau Tacitus yw y rhai hyn: "Plant Herod," eb efe, "a lywodraethodd y genedl hon. yn awr wedi ei darostwng; ac a'u rhanasant yn dair o lywodraethau." Strabo a ddywed fel y canlyn: "Am feibion Herod, rhai o honynt a laddodd efe ei hun, fel bradwyr yn ei erbyn. Eraill ar ei farwolaeth, a adawodd yn ddilynwyr iddo yn y llywodraeth; a rhoddodd i bob un o honynt ran o'i arglwyddedigaethau gynt. Cæsar hefyd a anrhydeddodd feibion Herod, a'i chwaer Salome, a'i merch Bernice." XVI. t. d. 765.

gyd â theyrnged o ddwy fil o dalentau. Ond Batanea, Trachonitis, Auranitis, a rhan o du Zeno ynghylch Jamnia, gyd â'r deyrnged o gan' talent, a wnaed yn ddarostyngol i Philip. Tra'r oedd Idumea, a holl Judea, a Samaria, yn rhan o lywodraeth Archelaus; ond darfod esmwythau chwarter ei theyrnged ar Samaria, ar gyfrif iddynt beidio gwrthryfela gyd â rhannau eraill Judea. Efe hefyd a osododd iddo ef y dinasoedd canlynol: sef, Tŵr Strato, Sebaste, Joppa, a Jerusalem. Ond am y dinasoedd Groegaidd, Gaza, Gadara, a Hippos, fe'u torrodd ymaith oddiwrth y deyrnas, ac a'u cyssylltodd â Syria. Yn awr teyrnged y wlad a roddwyd i Archelaus, ydoedd bedwar cant o dalentau. Salome hefyd, heblaw yr hyn a adawsai y brenin iddi yn ei ewyllys, yn awr a wnaethpwyd yn arglwyddes Jamnia, Ashdod, a Phasaelis. Cæsar hefyd a roddodd iddi hi balas brenhinol Ascalon. Oddiwrth yr hyn oll y derbyniodd deyrnged o drugain o dalentau. Ond fe'i gosododd i fyw o fewn i derfynau llywodraeth Archelaus. Ac am eraill o hiliogaeth Herod, hwy a dderbyniasant yr hyn a adawsid iddynt yn ei ewyllys diweddaf. Ond heblaw hynny, Cæsar a ganiattaodd i ddwy ferch ieuaingc Herod bum can mil drachmæ o arian; gan eu rhoddi yn briod i feibion Pheroras. Ond ar ol y cyfraniadau teuluaidd hyn, fe roddodd rhyngddynt yr hyn a adawsid iddo ef gan Herod, yr hyn ydoedd fil o dalentau: gan gadw iddo ei hun yn unig rai anrhegion bychain, er coffadwriaeth anrhydeddus am y marw.

## PENNOD VII.

*Am dwyll a datguddiad Alexander ffugiol; alltudiad Archelaus, a marwolaeth Glaphyra.*

YN y cyfamser yr ydoedd dyn ag oedd wrth ei enedigaeth yn Iuddew, ond a ddygasid i fynu yn Sidon, gyd ag un o wŷr rhyddion Rhufeinig; yr hwn yn dwyllodrus a gymmerodd arno, ar gyfrif tebygolrwydd eu hwynebpryd, mai efe oedd yr Alexander hwnnw a laddesid gan Herod. Y dyn hwn a ddaeth i Rufain, mewn gobaith o fod heb ei ddatguddio. Yr oedd ganddo un yn gynnorthwywr iddo o'i genedl ei hun, a'r hwn a wyddai am holl achosion y deyrnas; ac a'i hyfforddiodd ef i ddywedyd, y modd y darfu y rhai a ddanfonasid i'w ladd ef ac Aristobulus dosturio wrthynt, a'u lledratta ymaith, trwy osod cyrph tebyg iddynt yn eu lle. Y dyn hwn a dwyllodd yr Iuddewon oedd yn Crete, gan gael llawer o arian ganddynt tu ag at drafaelio mewn modd anrhydeddus, ac a fordwyodd oddiyno i Melos; pa le y meddyliwyd mor sicr mai y gwir Alexander ydoedd, fel y cafodd lawer o arian yn rhagor; ac a berswadiodd y rhai a'i croesawodd i fordwyo gyd ag ef i Rufain. Felly fe diriodd yn Decearchia, ac a gafodd anrhegion mawr gan yr Iuddewon oedd yn preswylio yno; ac a gyd-dramwywyd ag ef gan gyfeillion ei dad fel pe buasai yn frenin. Ië, yr oedd tebygolrwydd ei wynebpryd yn ynnill y fath grediniaeth iddo gan y bobl, fel yr oedd y rhai a welsant Alexander, ac a'i hadwaenent yn dda, yn barod i gymmeryd eu llwon mai efe ydoedd. Yn ganlynol holl gorph yr Iuddewon ag ydoedd yn Rhufain, a redasant allan yn dyrfaoedd i'w weled ef; a lliaws aneirif a safasant yn y lleoedd culion trwy ba rai y dygwyd ef. Canys y rhai o Melos oedd mor wallgof fel y dygasant ef o amgylch mewn cadair, ac a wnaethant roesawiad brenhinol iddo ar eu cost eu hunain.

Ond Cæsar yr hwn a wyddai yn berffaith ddigon, am ddull wynebpryd Alexander, o herwydd ei gyhuddo gan Herod o'i flaen ef, a ddirnadodd yr hudoliaeth oedd yn ei wynebpryd cyn iddo weled y dyn. Pa fodd bynnag fe oddefodd i'r ganmoliaeth o hono a aethai o amgylch i gael gradd o bwysau gyd ag ef; ac a ddanfonodd Celadus, un ag a adwaenai Alexander yn dda, gan orchymmyn iddo ddwyn y dyn ieuangc atto ef. Ond pan welodd Cæsar ef, deallodd yn ebrwydd am y gwahaniaeth yn ei wynebpryd. A phan ganfu fod ei holl gorph o wneuthuriad mwy pybur, y thebyg i'r un hynny o gaethwas, deallodd mai dyfais ydoedd y cwbl. Ond y digywilydd-dra o'r hyn a ddywedodd, a gynhyrfodd yn fawr ei ddigter tu ag atto. Canys pan ofynwyd iddo ynghylch Aristobulus, dywedodd ei fod yntau hefyd wedi ei gadw yn fyw, ac wedi ei adael yn bwrpasol yn Cyprus, rhag ofn bradwriaeth: o herwydd y byddai anhawsi fradwyr gael pob un o honynt tan eu hawdurdod, tra fyddent yn wahanol. Yna y darfu i Cæsar ei gymmeryd o'r neilldu ar ei ben ei hun, ac a ddywedodd wrtho, "Rho-

ddaf dy fywyd i ti, os datguddi pwy ydoedd yr hwn a'th berswadiodd i lunio y fath gelwyddau." Felly fe ddywedodd y datguddiai ef; a chanlynodd Cæsar, ac a ddangosodd yr Iuddew hwnnw, pa un a ammharchasai debygolrwydd ei wyneb i gael arian: oblegid ei fod ef wedi derbyn mwy o anrhegion ym mhob dinas, nag a dderbyniodd Alexander erioed pan ydoedd yn fyw. Cæsar a chwarddodd am ben y ddyfais, ac a ddododd y gau Alexander hwn ym mhlith rhwyfwyr ei longau, o herwydd ei rymmusder a'i gryfder corphorol: ond fe orchymmynodd fod i'r neb a'i perswadiodd i gael ei roddi farwolaeth. Ond am bobl Melos, hwy a gospasid yn ddigonol am eu hynfydrwydd trwy 'r costau a aethant tanynt o'i blegid ef.

Yn awr Archelaus a gymmerodd feddiant o'i * ethnarchiaeth; ac a arferodd nid yr Iuddewon yn unig, ond y Samariaid hefyd yn farbaraidd; a hyn oddi ar ei ymddial ar gyfrif ei hen amrafael â hwynt. Ar yr hyn y danfonwyd cennadwyr gan bob rhai o honynt at Cæsar o'i blegid ef; ac yn y nawfed flwyddyn o'i lywodraeth, efe a alltudwyd i Vienna, dinas yn Gaul; a'i dda neu eiddo a roddwyd yn nhrysorfa Cæsar. Ond y sôn ydoedd, cyn danfon am dano gan Cæsar, ddarfod iddo weled mewn breuddwyd naw † tywysen o ŷd, yn llawn ac yn helaeth; ond yn cael eu difetha gan ychain. Wedi iddo gan hynny ddanfon am y dewiniaid, a rhai o'r Caldeaid, ac ymofyn â hwynt pa beth, debygent, yr oedd yn ei arwyddoccau: a phan oedd un o honynt â deongliad un ffordd, ar llall a deongliad arall, Simon, un o blaid yr Esseniaid, a ddywedodd, ei fod ef yn meddwl fod y tywysenau ŷd yn arwyddo blynyddoedd; a'r ychain yn arwyddo cyfnewidiad ar bethau: o herwydd trwy aredig yr oeddynt yn newid wyneb y wlad. Ei fod ef gan hynny i deyrnasu cynnifer o flynyddoedd ag oedd o dywysenau ŷd: ac wedi iddo yn ganlynol fyned trwy amryw gyfnewidiau mewn bywyd, y byddai farw yn ol hynny. Yn awr ym mhen y pum niwrnod ar ol i Archelaus wrando 'r deongliad hwn, galwyd am dano i brofiad yn Rhufain.

Nis gallaf hefyd amgen na 'i gyfrif yn deilwng o gael ei goffa, pa ryw freuddwyd a gafodd Glaphyra, merch Archelaus, brenin Cappadocia, a fuasai gyntaf yn wraig i Alexander, yr hwn oedd frawd Archelaus, am ba un y traethasom. Yr Alexander hwn ydoedd fab Herod, y brenin, gan yr hwn y rhoddwyd ef i farwolaeth, fel yr adroddasom eisoes. Y Glaphyra hon a briodwyd yn ol ei farwolaeth ef a Juba, brenin Lybia; ac ar ol ei farw yntau a ddychwelodd adref, ac a fu byw gyd â'i thad mewn stâd o weddwdod. Yna y bu i Archelaus, yr ethnarch, ei chanfod, ac a syrthiodd mewn serch mor ddwfn â hi, fel yr ysgarodd â Mariamne, ei wraig y pryd hwnnw, ac a'i priododd hi. Wedi ei dyfod hi, gan hynny, i Judea, a bod yno tros amser, hi dybiodd weled Alexander yn sefyll yn ei hymyl; a dywedyd o hono wrthi, "Dy briodas â brenin Lybia a allasai fod yn ddigon i ti: ond ni foddlonaist arno ef, ond a ddychwelaist drachefn i'm teulu i, at drydydd ŵr: ac efe, tydi fenyw ddigywilydd! a ddewisaist i ti yn ŵr, yr hwn yw fy mrawd i. Pa fodd bynnag ni edrychaf heibio i'r cam a gynhygiaist i mi. Bydd i mi ar fyr dy gael drachefn, pa un a'i a ewyllysi hynny neu beidio." Yn awr, ni ddarfu i Glaphyra yn brin aros yn fyw ddeuddydd ar ol y breuddwyd hwn.

## PENNOD VIII.

*Am ddadchweliad teyrnas Archelaus i fod yn dalaith Rufeinaidd; ymblaid Judas o Galilea; a thair o bleidiau 'r Iuddewon.*

RHAN Archelaus o Judea yn awr a ddychwelwyd yn dalaith; a Coponius, un o'r gradd farchawl, ym mhlith y Rhufeiniaid, a ddanfonwyd yn rhaglaw; a chanddo awdurdod bywyd a marwolaeth wedi ei roddi yn ei ddwylaw gan Cæsar. O dan ei weinidogaethiad ef y bu, ddarfod i ryw Galilead, a'i enw Judas, berswadio ei gydwladwyr i wrthryfel; gan ddywedyd eu bod yn rhai di-galon, os dioddefent i dalu treth i'r Rhufeiniaid; ac a fyddai iddynt, yn lle Duw, ymostwng i ddynion marwol fel eu harglwyddi. Y dyn hwn oedd ddysgawdwr rhyw blaid neillduol, a pherthynol iddo ei hun; ac nid oedd oll yn debyg i eraill o'u harweinwyr.

Canys y mae tair o bleidiau ‡ philosophydd-

* Yr hynafgwr Hardium a gymmer arno ddywedyd, ddarfod i'r Archelaus hwn, mab Herod y Mwyaf, gael ei wneud ar y cyntaf, nid yn unig yn ethnarch ond yn frenin gan Augustus, yn wrthwyneb i dystiolaeth Josephus, yma ac yn yr Hynaf. XVIII. 1. heb ddim rheswm amlwg am y fath wrthddywediad.

† Gen. xli. 7.

‡ Cymmerwch nod y Deon Aldrich yma: "Yr hyn a ddywedir am yr Esseniaid yn y bennod hon, a gopiwyd gan Porphory. De Abst. IV. 11, 12, 13 ac Eusebius allan o Porphory, yn ei Ymbarottoad, IX. 2. Ymherthynas iddynt Josephus a ysgrifenna mewn lleoedd eraill, Hynaf. XIII. 5, XV. 10. a'r XVIII. 1, Heblaw y rhai hyn Philo a

aidd ym mysg yr Iuddewon. Canlynwyr y gyntaf o ba rai yw'r Phariseaid; yr ail y Saduceaid; a'r drydedd blaid, yr rhai a gymmerant arnynt arfer llymmach disgybliaeth, a elwir yr Esseniaid. Y rhai diweddaf hyn ydynt Iuddewon o enedigaeth; ac a ymddengys fod ganddynt fwy o garedigrwydd i'w gilydd na 'r sectau eraill. Yr Esseniaid hyn sy 'n ymwrthod â phleserau, megis peth niweidiol ond y maent yn parchi diweirdeb, ac yn cyfrif buddugoliaeth ar ein nwydau yn rhinwedd. Y maent yn esgeuluso priodas, ond a ddewisant allan blant rhai eraill tra maent yn blygadwy, ac yn addas i'w haddysgu; gan eu cyfrif megis eu perthynasau, a'u ffurfio yn ol eu harferiad eu hunain. Nid ydynt yn cwbl wadu y cyfreithlondeb o briodas, a dilyniad parhaol o ddynolryw trwy hyny. Ond y maent yn wiliadwrus yn erbyn ymddygiad anniwair menywaid; ac fe 'u perswadir nad yw neb o honynt yn cadw eu ffyddlondeb i un gwr.

Y gwŷr hyn ydynt ddirmygwyr cyfoeth; ac mor gyfrangar, a'u bodd yn peri eu rhyfeddu yn gyffredin: ac nid oes neb iw cael yn eu mysg ag sy'n meddu ar fwy o eiddo nag eraill. Canys y gyfraith yn eu mysg hwynt ydyw, fod yn rhaid iddynt adael yr hyn sydd ganddynt i fyned rhyngddynt oll yn gyffredin: yn gymmaint na's gwelir yn eu mysg hwynt oll un ymddangosiad o dlodi, neu ormodedd o gyfoeth: ond meddianau pob rhai a gydgymmysgir â meddiannau eraill: ac felly y mae megis pe fyddai, un etifeddiaeth rhwng yr holl frodyr. Meddyliant fod olew yn halogedig: ac os enneinir rhyw un o honynt, heb ei fod yn foddlon fe'i sychir ymaith oddi ar ei gorph. Canys hwy a'i barnant yn beth da i fod mewn cyflwr chwyslyd, megis hefyd i fod wedi ymddilladu â gwisgoedd gwynion. Y maent hefyd yn appwyntio goruchwylwyr i ofalu am ei hachosion cyffredin: y rhai bob un o honynt ni feddant orchwyl i neb neillduol, ond yr hyn sydd gyffredin iddynt oll.

Ni feddant un ddinas bendant, ond llawer o honynt a drigant ymhob dinas: ac os daw neb o'u sect neu eu plaid o le arall attynt, yr hyn sydd ganddynt a orwedd yn agored neu yn rhydd o'u blaen, yn gymmwys fel pe byddai'r eiddo eu hunain: ac y maent yn myned i mewn at rai nad adnabuant erioed, fel pe buasai hir gydnabyddiaeth rhyngddynt â hwynt. Am ba achos ni ddygant ddim gyd â hwynt pan deithiont i barthau pellennig: etto er hyn oll hwy a gymmerant arfau gyd â hwynt rhag ofn lladron. Yn ganlynol y mae ymhob dinas y trigant ynddi un wedi ei appwyntio yn neillduol i gymmeryd gofal dieithriaid; ac i barottoi gwisgoedd ac angenrheidiau eraill iddynt. Ond gwisg a threfniadau eu cyrph sydd debyg i'r hyn a arfera plant, y rhai sydd ag ofn eu meistriaid arnynt. Ac nid ydynt yn caniattau newid gwisgoedd, neu esgidiau, nes eu rhwygo yn ddrylliau, a'u gwisgo allan gan amser. Ac nid ydynt yn prynu neu yn gwerthu dim y naill i'r llall, ond pob un a ddyru'r peth sydd ganddo i'r sawl a fo mewn angen o hono: ac a dderbyn oddiwrtho ef drachefn yn lle hynny, yr hyn a f'o cyfleus iddo ei hun. Ac er na fyddai i ddim taliadau yn ol gael eu gwneuthur, mae cyflawn ryddid iddynt i gymmeryd yr hyn a f'o yn eisiau arnynt gan bwy bynnag a welont yn orev.

Ymherthynas i'w crefydd tu ag at Dduw, y mae yn dra hynod. Canys cyn codiad haul nì lefarant air am bethau cyffredin; ond a osodant i fynn weddiau pendant a ddysgasant gan eu tadau, megis pe byddent yn gwneud ymbiliau am ei gyfodiad. Ar ol hyn danfonir pob un o honynt ymaith gan eu golygwŷr, i ymarfer â rhai o'r celfyddydau y maent yn gyfarwydd ynddynt ym mha rai y llafuriant gyd â diwydrwydd hyd y bummed awr. Wedi hyn hwy a ymgynhullant ynghyd i'r un lle, ac wedi amwisgo eu hunain â gorchuddiadau gwynion, hwy a ymdrochant mewn dwfr oer. Ac ar ol i'r puredigaeth hwn fyned trosodd, y maent bob un yn cyfarfod mewn ystafell o'r eiddynt eu hunain, i'r rhai ni chaniatteir i neb ond a f'o o'u plaid eu hunain i fyned i mewn. Pan y maent yn myned mewn modd puredig i'r ystafell giniawa, megis i deml

ysgrifenodd ynghylch yr Esseniaid yn ei lyfr, "Fod pob dyn da yn ddyn rhydd," t. d. 600. Pliny hefyd sy'n traethu am y Esseniaid yn ei Hanesion Naturiaethol, V. 17. Yr hyn oll ag sydd o awdurdod a gyfarfyddwn mewn awdwyr eraill, a dardd o'r ffynhonnau hyn. Bydded i wŷr ieuaingc gan hynny ddarllen yr awdwyr hynafiaethol hyn, a pheidio blino eu hunain â hanesion eraill." Yr un gwr dysgedig a chwanega yn fuan "Rheolau 'r Esseniaid a gyttuna yn gyffredin a'r eiddo 'r Pythagoriaid.

* Canys fe wyddis yn dda fod y Daci, a hyfforddwyd gan Zamolais y Pythagoriad, yn gystal a Pythagoras ei hun, wedi benthycca y rhan fwyaf o'u gosodedigaethau oddiwrth yr Iuddewon. Byddai yn hawdd cymharu athrawiaethau, ac ymarferiadau pob plaid â'u gilydd; ond mae yn afreidiol gwneuthur hynny i'r rhai sy'n adnabyddus o ymarferiadau y Pythagoriaid.

gyssegredig, ac yn eistedd yn llonydd i lawr. Ym mha un y mae'r pobydd yn gosod bara yn drefnus: y cogydd hefyd a ddug ddysglaid o un math o fwyd, ac a'i gesyd o flaen pob un o honynt. Ond offeiriad a ddywed weddi o flaen bwyd: ac mae'n anghyfreithlon i neb brofi o'r bwyd cyn dywedyd gras, neu ofyn bendith o'i flaen. A phan ddechreuont, neu ddiweddont eu prydiau, y maent yn moliannu Duw, fel yr un ag sydd yn cyfrannu eu lluniaeth iddynt. Ar ol hyn dodant eu gwisg wen o'r neilldu, ac a ant ymaith drachefn at eu goruchwylion hyd yr hwyr. Yna y dychwelant adref yn yr un dull i swppera; ac os bydd yno neb dieithriaid, eisteddant i lawr gyd â hwynt. Ac nid oes un amser swn neu aflonyddwch yn eu mysg i halogi eu tŷ: ond caniattant i bob un lefaru yn rheolaidd yn ei dro neillduol ei hun. Y drefn a'r distawrwydd hwn a gedwir yn eu tai a ymddengys i ddieithriaid yn ddirgelwch mawr: yr achos o ba un yw'r sobrwydd gwastadol y maent yn ei ymarfer; a'r un fesur o fwyd a diod a rannir i bob un o honynt, yr hyn sydd yn gyflawn ddigonol i'w diwallu.

Ac am bethau eraiil, ni wnant ddim ond a f'o yn ol gorchymmyn eu llywodraethwyr. Yn unig y ddau beth hwn a wneir yn eu mysg wrth ewyllys rhydd pob un; y rhai y'nt i gynnorthwyo y sawl sydd mewn eisiau ac i ddangos trugaredd. Canys caniatteir iddynt gynnorthwyo y rhai a fo'n ei haeddu yn ol eu dewisiad eu hunain; ac i gyfrannu lluniaeth i'r rhai a f'o mewn cyfyngder: ond ni allant gyfrannu dim i'w carennydd, heb gennad eu golygwyr. Maent yn gadael heibio ddigter, ac yn ffrwyno eu nwydau: yn rhagori mewn ffyddlondeb, ac yn ddyrchafwyr heddwch. Pa beth bynnag a ddywedont y mae'n gadarnach na llw. Ond tyngu a ochelir ganddynt, ac y maent yn ei gyfrif yn * waeth nag anudonedd. Canys dywedant fod yr hwn na aller ei gredu heb dyngu trwy enw Duw wedi ei gondemnio eisoes. Cymmerent hefyd lafur mawr yn myfyrio ysgrifenadau'r henafiaid; gan ddethol allan o honynt yr hyn a fyddo er lles i'w cyrph a'u heneidiau: a chwiliant am y fath wreiddiau a llysian ag a fyddo yn feddyginiaethol i'w hafiechyd.

Ond os bydd rhyw un â thuedd ganddo i ymgysylltu â'u plaid hwy, ni wneir derbyniad uniongyrch o hono: ond hwy a ddangosant iddo y dull o fywiolaethu sydd ganddynt tros un flwyddyn, tra 'r erys ef mewn cyflwr o neillduaeth: rhoddant hefyd yn ei ddwylaw fwyall fechan, gyd â gwregys, a gwisg wenllaes. A phan roddo dystiolaeth yn oed yr amser hwnnw, y gall efe ddilyn eu rheolau y mae yn nesâu yn fwy at eu ffordd o fywiolaethu, ac a wneir yn gyfrannog o ddyfroedd y puredigaeth. Etto ni dderbynir mo 'no y pryd hynny i gyd fyw â hwynt. Canys ar ol yr arwyddion yma o'i ymroddiad, ei dymmer a brofir tros ddwy flynedd yn rhagor. Ac os dengys yn deilwng, fe 'i derbynir ganddynt i mewn i'w gymdeithas. A chyn caniattau iddo gyffwrdd â'u hymborth cyffredin, fe'i rhwymant i gymmeryd llwon arswydus; y bydd iddo, yn lle cyntaf, ymarfer crefydd tu ag at Dduw: y gofala am wneuthur cyfiawnder â dynion, ac na wna niweid i neb, wrth ei ewyllys ei hun, na thrwy annogaeth gan eraill: y casha y drygionus bob amser, ac y bydd yn gynnothwyol i'r rhai cyfiawn: y dengys ffyddlondeb yn wastadol at bawb, ac yn enwedig i'r rhai a f'o mewn awdurdod: Oblegid nad yw neb yn meddianu awdurdod heb ganiattâd gan Dduw: ac os bydd un mewn awdurdod, na fydd iddo un amser, pa bynnag, gam-ddefnyddio yr awdurdod hono; na cheisio rhagori ar ei ddeiliaid mewn gwisgoedd gwychion, ac uchel ymddygiad: y bydd iddo bob amser garu gwirionedd, ac ymdrechu i geryddu y rhai a ddywedant gelwydd: y ceidw ei ddwylaw yn lân oddi wrth yspail, a'i enaid oddiwrth elwa yn anghyfreithlon: na chuddia efe un peth oddi wrth y rhai o'i blaid ei hun, ac na ddatguddia eu hathrawiaethau i eraill; ïe pe byddid yn ei gymmell i wneuthur hynny ar y perygl o ddwyn ei fywyd. Ymryw ddyledswyddau i Dduw, ac i'w cymmydogion, fel y dysgwn oddiwrth y Deddfau Apostolaidd: y rhai er eu bod yn cyttuno ag ymadroddion Crist a St. Iago, trwy wahardd tyngu yn gyffredinol, v. 12. vi. 23. etto y maent yn ei egluro mewn lle arall trwy ochelyd gau-lwon, a thyngu yn fynych ac yn ofer." ii. 36. trwy "beidio a thyngu oll;" ond gyd â'r cwbl yn chwanegu, "os na ellir ei ochelyd am dyngu yn wirioneddol," vii.3. yr hyn sydd yn egluro yn ddigonol i ni natur a mesurau y gorchymmyn cyffredinol hwn.

* Ymarferiad yr Esseniaid, yn gwrthod tyngu, ac yn cyfrif yr arfer o hynny ar achosion cyffredin, yn waeth nag anudon, a draddodir yma mewn geiriau cyffredin, megis y mae'r cyffelyb rybuddion o eiddo ein Hiachawdwr, Math. v. 34. xxiii. 16. ynghyd a St. Iago v. 12. Ond y cwbl yn caniattau gwahaniaethau ar achosion pwysig a difrifol; ac ar achlysuron mawr ac angenrheidiol. Felly'r Esseniaid yma eu hunain, y rhai oeddynt mor ofalus i ochel tyngu, a ddywedir na chaniattant ddim llwon nes y deuent at lwon caeth a difrifol ynghylch cyflawni eu ham-

hellach rhaid iddo wneuthur llŵ i beidio cyfrannu eu hathrawiaethau i neb mewn ffordd amgen nag y derbyniodd hwynt ei hun; i ymgadw rhag lledratta, ac amddiffyn y llyfrau perthynol i'w plaid hwy, ac enwau yr angylion. * Dyma'r llŵon â pha rai y maent yn sicrhau proselyliaid iddynt eu hunain.

Ond am y rhai a gant yn euog o ryw bechod gwaradwyddus, hwy a'i bwriant allan o'u cymdeithas. A'r hwn a wahanir y modd yma oddi wrthynt, sydd yn fynych yn marw yn druenus. Canys fel y mae yn rhwym trwy'r llŵ a gymmerodd, ac wrth y defodau a ymrwymodd iddynt, nid yw efe yn rhydd i gyfrannogi o'r lluniaeth a gyferfydd mewn lle arall: ond gorfydd iddo fwytta glaswellt, a newynu ei gorph âg eisiau nes iddo farw. Am ba reswm hwy a dderbyniant amryw o honynt drachefn, pan fyddont ym mron marw, oddiar dosturi tu ag attynt; gan farnu fod y trueni a ddioddefasant, nes y oeddynt ym min angau, yn ddigon o gosp am y troseddau a fuant yn euog o honynt.

Ond am y cospau a arferant y maent yn addas ac yn gyfiawn. Ac ni roddant ddedryd ar dystiolaethau llŷs ag sydd lai na chant mewn nifer: ac am yr hyn a benderfynir unwaith gan y nifer hynny, y mae yn anghyfnewidiol. Yr hyn y maent fwyaf oll yn ei anrhydeddu, yn nesaf at Dduw ei hun, yw enw eu deddfwr; yr hwn os bydd i neb ei gablu, fe'i cospir â marwolaeth. Barnant hefyd ei fod yn beth da i ufuddhau i'w henuriaid, a'r blaid liosoccaf. Yn ganlynol, os bydd dego honynt yn eistedd ynghyd, ni lefara un ddim, tra y mae y naw arall yn erbyn rhyw beth. Maent hefyd yn ymgadw rhag poeri yn eu mysg hwynt, neu ar y tu dehau. Ymhellach, a maent yn † fanylach na neb arall o'r Iuddewon ynghylch gorphwys oddiwrth eu llafur ar y dydd Sabboth. Canys y maent nid yn unig yn parottoi eu hymborth y dydd o'r blaen, fel na b'o raid iddynt gynneu eu tân ar y dydd hwnnw; ond ni wnant gymmaint a symmud llestr allan o'i le, na chyflawni angenrheidiau mwyaf natur. Ië, ar ddyddiau eraill, y maent yn cloddio pyllau bychain, o gylch troedfedd o ddyfn, â rhaw-ffon,‡ (neu fath o fwyall a roddir iddynt ar eu derbyniad cyntaf i'w plith;) a chan orchuddio eu hunain o amgylch â'u gwisg, fel na chyffröant ddwyfol lewyrchiadau y goleuni, maent yn esmwythau eu hun uwch ben y tyllau hynny; ac ar ol hynny dodant y pridd a gloddiwyd o honynt i mewn drachefn. A hyn yn unig a wnant yn y lleoedd mwyaf anghyfannedd, a ddewisant i'r pwrpas hwn. Ac y mae yn rheol gyd â hwynt i ymolchi eu hunain ar ol hynny, megis pe byddai yn aflendid arnynt.

Ar ol i amser eu profiad parottoawl fyned trosodd, hwy a waheuir yn bedair o rannau; a chyn belled ag y maent y rhai ieuaingc o îsgyfrif na'r henafgwyr, fel os cyffyrddir â hwynt gan yr ieuengctyd, rhaid yw iddynt ymolchi eu hunain, fel pe byddent wedi ymgymmysgu â chyfeillach rhai o wlad estronol. Y maent hefyd yn rhai o hir-hoedl: yn gymmaint a bod amryw o honynt yn byw dros gan' mlynedd, trwy'r moddion o symlrwydd eu hymborth; ïe, fel y tebygaf, trwy'r ffordd reolaidd o fucheddu a ddilynant. Y maent yn dirmygu blinderau mewn bywyd, ac ydynt uwchlaw teimladau o boen trwy fawrfrydigrwydd eu meddwl. Ac am farwolaeth, os bydd er eu gogoneddu, y maent yn ei gyfrif yn well na byw bob amser. Ac yn wir un rhyfel â'r Rhufeiniaid a roddodd dystiolaeth ddigonol pa eneidiau mawrfrydig oedd ganddynt yn eu dioddefiadau; pryd y darfu iddynt, er eu harteithio a'u poenydio, fyned trwy bob math o gystuddiau, trwy y rhai y cymhellid hwynt i gablu eu deddfwr, neu fwytta yr hyn a waherddid iddynt; etto ni enillid hwynt i wneuthur un o honynt: ïe, nac unwaith i wenhieithio i'w poenwyr, neu i dywallt dagrau. Ond hwy a wenent yn eu poenydiau, ac a wawdient y rhai a osodai'r arteithiau arnynt: a hwy a roddent eu heneidiau i fynu gyd â sirioldeb mawr; megis yn disgwyl eu derbyn drachefn.

Canys eu hathrawiaeth ydyw fod y cyrph yn

---

* Y crybwylliad hwn am enwau angylion, a gynhalir mor neillduol gan yr Esseniaid; (os meddylia ychwaneg na'r cenhadon hynny a ddefnyddiwyd i ddwyn iddynt y llyfrau perthynol i'w plaid hwynt;) sy'n dangos megis yn arweiniad i'r addoliad hynny o'r angylion, a feiir gan St. Paul, fel gau-dduwiaeth, ac yn anghyfreithlon, gan y cyfryw fath bobl a'r Esseniaid hyn, Col. ii. 8. megis y mae gweddio tu a'r haul am ei gyfodiad bob bore, fel y crybwyllwyd eisoes, tra thebyg i arferiad nid llawer diweddarach, a nodir ymhregethiad St. Pedr; (gwel yn Saes. Authen. Rec. Rhan II. t. d. 669.) ac ymberthynas i fath o addoliad angylion, ac o'r lleuad; ac heb gynnal gŵyl i'r lleuadau, neu ŵyliau eraill, oddi eithr i'r lleuad ymddangos. Yr hyn yn wir a ymddengys i mi yn grybwylliad boreuaf o ddim sulw a wneid o phasis y lleuad yn sefydliad y calendar Iuddewig. Ynghylch yr hyn y mae'r Talmud, neu ddiweddar Rabbiniaid yn siarad cymmaint am dano ar gyn lleied achos.

† Am yr Iuddewig neu Essenaidd fanylrwydd yn eu sulw o, a'u gorphwysiad ar y dydd Sabboth, gwel nodau y Deon Aldrich a Dr. Hudson ar y lle hwn.

‡ Gwel Deut. xxiii. 12, 13.

llygredig; ac nad yw y defnydd o'r hwn y ffurfir hwynt yn barhaol; ond bod yr eneidiau yn anfarwol, ac yn parhau byth: eu bod yn tarddu allan o'r awyr deneuaf, ac yn cael eu huno â'u cyrph megis eu carcharau, i ba rai y tynnir hwynt, trwy ryw hudoliaeth naturiol. Ond mai pan ryddhaer hwynt oddi wrth feichiau 'r corph, yna y maent, megis wedi hir gaethiwed, yn llawenhau ac yn esgyn uchod. A hyn sydd gyffelyb i dyb y Groegiaid, sef fod gan enidiau da eu trigfa tu hwnt i'r cefn-for, mewn brô na orthrymmir gan dymmestl o wlaw, eira, neu wrês tanbaid: ond bod y lle hwn yn gyfryw ag sy'n cael ei adfywio gan anadliad esmwyth gorllewin-wynt, ag sydd yn chwythu yn wastadol o'r cefn-for pan y maent yn gosod i eneidiau drygionus ogof dywyll, dymhestlog, yn llawn o boenau an-orphwys, a di-ddiwedd. Ac yn wir y Groegiaid a ymddangosant eu bod yn dilyn yr un tybiau, pan y maent yn cyfrif ynysoedd y gwynfydedigion yn drigfa eneidiau eu gwŷr mawr-wych, y rhai a ddangosasant ryw wrolder neu weithred ganmoladwy, ac a elwir yn isdduwiau; ac i eneidiau y rhai drygionus ardal yr annuwiolion yn Hades: ym mha le 'r adroddir gan eu chwedlau fod rhyw bersonau neillduol, megis Sisyphus, Tantalus, Ixion, a Tytius yn cael eu cospi; yr hyn a adeiladir ar y dychymmyg cyntaf o fod eneidiau yn anfarwol. Ac oddi yno y mae eu hannogaethau, a'u rhybuddion yn erbyn pob math o ddrygioni yn darddedig; trwy 'r hyn y mae dynion da yn cael budd yn ystod eu hymarweddiad, trwy 'r gobaith sydd ganddynt am wobr ar ol eu marwolaeth. Dyma ddwyfol athrawiaeth y Esseniaid ynghylch yr enaid; yr hyn sydd yn gosod magl annisgwyliadwy i'r cyfryw a brofant unwaith o'u philosophyddiaeth.

Mae hefyd rai yn eu mysg a gymerant arnynt *rag-fynegi pethau i ddyfod; trwy ddarllen y llyfrau sanctaidd, ac arfer pob math o buredigaeth, a pharhaus fyfyrio ar ysgrifenadau y prophwydi. Ac anaml y methant yn eu rhag-fynegiadau.

Ymhellach, y mae gradd arall o Esseniaid, y rhai ydynt yr cyttuno â'r lleill yn eu ffordd o fywiolaethu, eu defodau, a'u cyfreithau; ond yn gwahaniaethu oddi wrthynt yn y pwngc o briodas: megis ag yn barnu trwy beidio a phriodi eu bod yn torri ymaith ran fawr o fywyd dynol, yr hyn yw gobaith o ddilyniad cenedlaethau trwy eppilio: ïe, yn hytrach, pe byddai pawb o'r un tybiau â hwynt hwy, y methai neu y darfyddai yr holl ryw ddynol. Pa fodd bynnag, hwy a brofant eu dyweddiau am dair blynedd: ac os gwelant hwy yn debyg o fod yn ffrwythlon, yna y maent yn weithredol yn eu priodi hwynt. Ond ni arferant † gymdeithasu â'u gwragedd pan f'ont yn feichiogion; fel dangosiad nad ydynt yn priodi i gyflawni chwant naturiol, ond er mwyn hiliogaeth. Yn awr y merched a ânt i'r ymolchfeydd gyd â rhai o'u gwisgoedd am danynt; fel y mae 'r dynion yn gwneuthur gyd â rhyw beth ynghylch eu lwynau. A dyma yw arferiadau y gradd yma o Esseniaid.

Ond am y ddwy radd eraill a grybwyllwyd, y gyntaf yw y Phariseaid, y rhai a gyfrifir yn fwyaf cyfarwydd yn nebongliad y cyfreithiau, ac a ddygir i mewn megis y blaid flaen. Y rhai hyn a gyfrifant bob peth i ‡dynghedfen, ac i Dduw; ac etto a ganiattant fod gweithredu'r hyn sydd dda, neu y gwrthwyneb i hynny, yn bennaf y'ngallu dynion eu hunain, er bod tynghedfen yn cydeffeithioli pob gweithred. Dywedant fod eneidiau yn annarostyngol i lygredigaeth; ond mai § eneidiau dynion da yn unig a symmudir i gyrph eraill: ond bod eneidiau y rhai drygionus

* Y Deon Aldrich a gyfrif dair siampl o ddawn prophwydoliaethol yn amryw o'r Esseniaid hyn, allan o Josephus ei hun, sef, yn Hanes y Rhyf. I. 3. Judas a ragfynegodd farwolaeth Antigonus ynNhŵrStrato, II 3, 7. Simon a ragddangosodd na theyrnasai Archelaus ond naw neu ddeg o flynyddoedd. Ac Hynaf. XV. 10. Menahem a ragddywedodd y byddai Herod yn frenin, ac y teyrnasai yn orthrymmus; a hynny tros ychwaneg nag ugain, neu ddeg ar hugain o flynyddau: yr hyn oll a ddaeth i ben yn ganlynol.

† Y gyfraith neu'r cyngor hwn o berffeithrwydd, a gymmerwyd i mewn i'r grefydd Gristionogol; ac sydd i'w weled felly yn y Gosodedigaethau, VI. 28. Yn yr Ail-olygiadau, VI. 10, 11; ac yng ngwaith eraill o'r tadau hynafiaethol. Gwel nod Cotelerius ar y lle yn y Gosodedigaethau.

‡ Neu Ragluniaeth.

§ Y mae mwy yn cael ei grybwyll yma ynghylch yr Esseniaid, nag a gymmerir allan o Josephus gan Porphyry nac Eusebius: ac etto cyn gymmaint yn llai ynghylch y Phariseaid a'r Saduceaid, y ddwy blaid Iuddewig eraill, nag a ellid ei ddisgwyl mewn cyferbyniad i'r Esseniaid, y drydydd blaid; ie, nag yr ymddengys fod yn cael ei goffa ganddo ei hun mewn mannau eraill, fel y gall un gael ei dueddu i feddwl, ddarfod i Josephus ysgrifennu llai ar y cyntaf am un, a mwy am y ddwy eraill, nag y mae ei gopiau presennol yn ei gynnwys. Pa fodd bynnag, yr hyn y mae yn ei ddywedyd yn enw y Phariseaid mai eneidiau dynion da a ânt o'r naill gorph i'r llall; er bod pob eneidiau yn anfarwol; a bod eneidiau y rhai drygionus yn ddarostyngol i dragywyddol gospedigaeth; a'r hyn a ddywed yn ol hynny, Hynaf. XVIII. 1. fod bywiogrwydd yr enaidiau yn anfarwol, a'u bod tan y ddaear yn derbyn gwobrwyon neu gospedigaeth, megis ag y bu eu bywydau yn rhinweddol neu ddrygionus yn y byd presennol; mai i'r rhai drwg y gosodir carchar tragywyddol, ond i'r daionus y caniatteir ail fywyd drachefn yn y byd hwn, ydynt ag agosrwydd iddynt at athrawiaethau Cristionogol. Ond yn unig fod gwrthodiad Josephus o ddychweliad y rhai annuwiol i gyrph eraill, neu i'r byd hwn, yr hyn a ganiattâ i'r rhai daionus, sy'n ymddangos megis yn wrthwynebiad o gyfrif St. Paul o athrawiaeth yr Iuddew-

yn ddarostyngol i gosp dragywyddol. Ond y Sadnceaid yw y rhai a gyfansoddant yr ail radd, y rhai a ymwrthodant â thynghedfen yn hollol; ac a feddyliant nad yw Duw yn gwneuthur sylw o'n cyflawniad neu anghyflawniad o'r hyn sydd ddrwg: ac a ddywedant fod gweithredu yr hyn sydd dda neu ddrwg, yn sefyll ar ddewisiad dynion eu hunain; a bod y naill neu 'r llall yn perthynu i bob un, fel y gallont weithredu yn y modd y gwelont oreu. Y maent hefyd yn cymmeryd ymaith grediniaeth am barhad anfarwoldeb yr enaid; ynghyd â chospedigaeth a gwobr yn Hades.* Ymhellach y mae 'r Phariseaid yn gyfeillgar y naill i'r llall, ac y maent am arfer undeb a chydfod ym mysg y cyffredin. Ond ymddygiad y Saduceaid tu ag at eu gilydd sydd mewn rhyw radd o greulondeb; a'u hymddiddanion mor sarrug ac anfwyn a phe baent ddieithriaid iddynt. A hyn yw 'r peth oedd gennyf i'w ddywedyd ymberthynas i'r pleidiau philosophyddaidd yn mysg yr Iuddewon.

## PENNOD IX.

*Am farwolaeth Salome; y dinasoedd a adeiladwyd gan Herod a Philip; y terfysg a barwyd gan Pilate; carchariad Agrippa, gyd â'i ryddhad a'i lwyddiant canlynol, ac alltudiad Herod Antipas.*

FEL ag yr oedd ethnarchiaeth Archelaus yn awr wedi syrthio yn dalaith Rufeinaidd, meibion eraill Herod, sef Philip, a'r Herod hwnnw a elwid Antipas, a gymmerasant feddiant o'u llywodraethau eu hunain. Canys wedi marw Salome hi adawodd i Julia, gwraig Augustus, y taleithiau o'r eiddo hi, ynghyd â Jamnia, megis hefyd ardal ei phalmwydd ag ydoedd yn Phasaelis. Ond wedi trosglwyddo yr ymerodraeth Rufeinig i Tiberius, mab Julia, ar farwolaeth Augustus, yr hwn a deyrnasasai ddwy ar bymtheg a deugain o flynyddoedd, chwe mis, a deuddydd, Herod a Philip a barhasant yn eu llywodraethau; a'r diweddaf o honynt a adeiladodd † Cæsarea, wrth ffynhonnau 'r Iorddonen, ac yn ardal Paneas. Megis hefyd y ddinas Julias, yn y Ganlanitis isaf; Herod hefyd a adeiladodd y ddinas ‡ yn Galilea; ac yn Perea tu hwynt i'r Iorddonen, un arall a elwid Julias.

Yn awr Pilate, yr hwn a ddanfonasid yn rhaglaw i Judea gan Tiberius, a ddanfonodd wrth liw nos y llunian hynny o Cæsar, a elwid Bannerau, i Jerusalem. Hyn a barodd gynwrf mawr ym mhlith yr Iuddewon, pan ydoedd yn ddydd. Canys y rhai oedd agos attynt a ryfeddasant wrth yr olwg arnynt; fel arwyddion o fod eu cyfreithiau yn cael eu sathru tan draed. Canys nid yw 'r cyfreithiau hynny yn caniattau i ddim delwau gael eu dywn i'r ddinas. Ië, heblaw y digter oedd gan y dinasyddion eu hunain tu ag at y weithred hon, rhifedi mawr o bobl a ddaethant ynghyd ar eu rhedfa o'r wlad. Y rhai hyn a ddaethant yn danbaid at Pilate i Cæsarea; gan ddeisyf arno gymmeryd ymaith y bannerau o Jerusalem; fel y cadwer cyfreithiau eu hynafiaid yn ddi-drais. Ond ar wrthodiad Pilate o'u gofynion, hwy a syrthiasant ar eu hwynebau i'r llawr, ac a arosasant heb symmud yn yr agwedd honno tros bum niwrnod, a chynnifer o nosweithiau.

Ar y dydd nesaf, Pilate a eisteddodd ar ei orsedd yn y farchnadfa gyhoeddus; ac alwodd atto y lliaws, megis ag ewyllys i roddi attebiad iddynt. Ac yna a roddes arwydd i'r milwyr, ar fod iddynt oll, megis o gyd-undeb, ar unwaith amgylchu 'r Iuddewon â'u harfau. Felly y llu o filwyr a safasant o amgylch yr Iuddewon, yn dair rhes. Yr Iuddewon oeddynt yn y cyffröad mwyaf wrth yr olwg annisgwyliadwy honno. Pilate hefyd a ddywedodd wrthynt, y torrid hwy yn ddrylliau, oddi eithr iddynt wneud derbyniad o ddelwau Cæsar; ac a roddodd arwydd i'r milwyr i dynnu eu cleddyfau allan. Ar hyn yr Iuddewon yn unfryd, a syrthiasant i lawr yn rhifedi mawrion gan ddinoethi eu gyddfau; ac a lefasant allan y cymmerent yn hytrach eu lladd, nac edrych ar eu cyfraith yn cael ei throseddu. Ar hyn Pilate a ryfeddodd yn fawr wrth eu hanferth goel-grefydd; ac a roddodd orchymmyn am i'r bannerau gael eu cymmeryd ymaith o Jerusalem.

Ar ol hyn efe a barodd derfysg arall, trwy dreulio y trysor cysegredig, yr hwn a elwir § Corban yn gwneuthur dyfr-leoedd, neu ffosydd

on, eu bod hwy eu hunain yn addef, "y bydd adgyfodiad y meirw, i'r cyfiawnion, ac i ranghyfiawnion," Act. xxiv. 15. Etto gan mai daliadau y Phariseaid sydd gan Josephus; a St Paul yr eiddo'r Iuddewon yn gyffredin, yn gystal ag ef ei hun, nid yw'r gwrthwyneb yn sicr.

* Hades a feddylia y lle o wobrwyad yn gystal a chospedigaeth.

† Math xvi. 12. Marc viii. 27,

‡ A grybwyllir yn fynych yn y Testament Newydd.

§ Y defnydd hwn o'r Corban neu'r Offrymiad, a gymhwysir yma at yr arian cyssegredig a offrymid i Dduw yn nhrysorfa'r deml, a eglura eiriau ein Iachawdwr, Marc xii. 11, 12.

mawrion wrth yr hyn y dygodd ddwfr i'r ddinas o bedwar can stâd o bellder. I hyn yr oedd y lliaws yn dra anfoddlon. A phan ddaeth Pilate i Jerusalem, hwy a ymgasglasant o amgylch ei orseddfa, gan wneuthur achwynion o'i herwydd. Yn awr wedi amlygu iddo ym mlaen llaw am yr anfoddlonrwydd hwn, gwnaeth i'w filwyr tan arfau gydgymmysgu â'r lliaws; gan beri iddynt guddio eu hunain mewn gwisg neu orchudd dynion neillduol; a pheidio yn wir a gwneud defnydd o'u cleddyfau, ond i ddyrnodio â'u ffyn yr aflonyddwyr. Yna y rhoddodd arwydd i'w dribun neu swyddog milwraidd, i wneud fel y gorchymmynasai. Yn awr yr Iuddewon a gurwyd mor erwin, fel y bu amryw o honynt feirw trwy 'r dyrnodiau a dderbyniasant; a llawer a ddifethwyd trwy fathru eu gilydd i farwolaeth ganddynt eu hunain. Trwy ba foddion y lliaws aethant yn synllyd wrth ddioddefiadau y rhai a laddwyd, ac a ddistawasant.

Yn y cyfamser Agrippa, mab Aristobulus, a laddwyd gan ei dad Herod, a ddaeth at Tiberius, i gyhuddo Herod y tatrarch; yr hwn ag efe heb dderbyn ei gyhuddiad a arhosodd yn Rhufain; ac a dynnodd gydnabyddiaeth â gwŷr enwog eraill, ond yn bennaf â Caius, mab Germanicus: yr hwn y pryd hynny oedd â sefyllfa neillduedig. Yn awr yr Agrippa hwn ar ryw amser pennodol a wleddodd Caius. Ac fel yr oedd yn dra hynaws tu ag atto ar amrywiol gyfrifon, efe o'r diwedd a estynodd allan ei law, ac a ddywedodd yn gyhoeddus y chwennychai farw Tiberius; a'i weled ef yn fuan yn ymerawdr y byd. Hyn a ddywedwyd i Tiberius, gan un o dylwyth Agrippa. Yr hwn ar hynny ydoedd dra digllon, ac a orchymynodd rwymo Agrippa; ac a barodd iddo gael triniaeth ddrwg yngharchar tros chwe mis, hyd oni bu farw Tiberius, wedi teyrnasu o hono ddwy ar hugain o flynyddau, chwe mis a thri o ddyddiau.

Ond pan wnaethpwyd Caius yn Cæsar, fe ryddhaodd Agrippa o'i rwymau, ac a'i gwnaeth yn frenin tetrarchiaeth Philip, yr hwn oedd yn awr wedi marw. Ond wedi i Agrippa gyrraedd y gradd hwnnw o fawredd, fe ennynodd awyddfryd Herod y tetrarch, yr hwn a arweinid yn bennaf i obeithio am yr awdurdod frenhinol trwy ei wraig Herodias: canys hi a'i gwaradwyddai ef oblegid ei syrthni; ac a ddywedodd mai o herwydd na fordwyai ymaith at Cæsar, yr ydoedd wedi ei adael yn fyr o'r chwanegiadol fawredd hwnnw. Canys gan ddarfod i Cæsar wneud Agrippa, o berson unigol yn frenin; llawer mwy y buasai iddo ei dderchafu ef o fod yn detrarch i'r mawredd hwnnw. Y rhesymmau hyn a ennillodd Herod mor bell, fel ag y daeth trosodd at Cæsar: gan yr hwn y cospwyd ef am ei drachwant, trwy gael ei alltudio i'r Yspaen. Canys Agrippa a'i dilynodd i Rufain, mewn trefn i'w gyhuddo ef. I'r hwn hefyd y rhoddodd Caius ei detrarchiaeth mewn ffordd o chwanegiad.* Felly Herod a fu farw yn yr Yspaen, i ba le y canlynasai ei wraig ef.

## PENNOD X.

*Am y gorchymmyn a ddanfonwyd gan Caius ynghylch gosodiad i fynu ei ddelw yn y deml yn Jerusalem; ac am ymddygiad Patronius.*

YN awr Caius Cæsar a ddarfu mor fawr gam-arfer yr oruchafiaeth a gyrhaeddodd, fel ag i gymmeryd iddo ei hun yr enw o dduw, ac i ewyllysio cael ei alw felly: ac i dorri ymaith rai o raddau ardderchog allan o'r wlad. Efe hefyd a estynnodd allan ei ddidduwiaeth cyn belled a gwlad yr Iuddewon. Yn ganlynol efe a anfonodd Petronius gyd â byddin i Jerusalem i osod ei ddelw i fynu yn y deml: gan orchymmyn os na foddlonai'r Iuddewon i hynny, ar ladd o hono y rhai a'i gwrthwynebai, a dwyn yr holl weddillion o'r genedl i gaethiwed. Ond yr oedd sulw Duw ar y gorchymynion hyn. Pa fodd bynnag, Petronius a gychwynodd allan o Antioch i fyned i Judea, gyd â thair o lengau, a llawer o gynnorthwyadon o Syria. Yn awr am yr Iuddewon, ni allodd rhai o honynt gredu y bygythiad o ryfel, a ddygid attynt: ond y rhai a'i credasant oeddynt yn y cyfyngder mwyaf am wybod pa fodd i amddiffyn eu hunain; a'r dychryn a danodd yn fuan drostynt oll, canys yr oedd y fyddin eisoes wedi dyfod i Ptolemais.

Y Ptolemais hon sydd ddinas arforawl yn Galilea, wedi ei hadeiladu yn y gwastadedd mawr. Mae wedi ei hamgylchu â mynyddoedd. Y rhan hynny o du'r dwyrain, hyd drugain ys-

* Y Deon Aldrich a ddug ddwy dystiolaeth yma, ag sy'n cadarnhau yr hyn a ddywed Josephus, ymherthynas i weithred Cæsar yn rhyddhau Agrippa o garchar, ac yn cyfrannu teyrnas ei daid Herod iddo ef.

tâd o bellder, a berthyn i Galilea; ond y parthau deheuol a berthyn i Carmel, yr hwn sydd ugain a chant o stadau o bellder oddi wrthi. A'r hyn o du'r gogledd yw'r uchaf o honynt oll, ac a elwid gan bobl y wlad, Ysgol y Tyriaid, yr hwn sydd â'i belldra yn gant o stadau. Yr afon dra bechan * Belus, sydd a'i rhedfa heibio iddi, o ddwy 'stad o bellder. Yn agos i ba un y mae arwydd-faen † Memnon; ac yn agos iddo y mae lle heb fod yn helaethach na chant o gufyddau, yr hwn sydd yn haeddiannol o'i ryfeddu. Canys y lle sydd gylchgrwn ac yn wag; ac yn cynwys y fath dywod ag y gwneir gwydr o hono: yr hwn le wedi ei arllwys gan yr amlder o longau a lwythir yno, a lenwir drachefn gan y gwyntoedd, ag sy'n dwyn iddo, megis yn bwrpasol, y tywod hwnnw ag oedd yn gorwedd mewn pellder, ac nad oedd amgen o'r blaen na thywod cyffredin: pan y mae mwyn y lle hwn yn ebrwydd yn ei droi yn dywod gwydrog. A'r hyn sydd etto yn fwy rhyfedd, y gormodedd o dywod o 'ddel iddo, ac a ddygir ymaith yn ei ol, sydd yn troi yn dywod cyffredin drachefn. A thyma natur y lle yr ydym yn siarad am dano.

Ond yn awr yr Iuddewon a ddaeth ynghyd yn nifeiri mawr, gyd â'u gwragedd a'u plant i'r gwastadedd hwnnw oedd wrth Ptolemais; ac a wnaethant ymbiliau tros eu cyfreithiau, ac yn y lle nesaf trostynt eu hunain. Felly efe a orfuwyd gan amlder yr erfynwyr, a'u herfyniadau; ac fe adawodd ei fyddin a'i ddelw yn Ptolemais, ac yna a aeth ymlaen i Galilea: ac fe alwodd ynghyd y lliaws, a'r holl wŷr cyfrifol, i Tiberias, ac a ddangosodd iddynt awdurdod y Rhufeiniaid, a bygwthiadau Cæsar: ac heblaw hyn fe brofodd fod eu deisyfiad yn afresymmol, o herwydd pan oedd yr holl genedlaethau darostyngol iddynt hwy wedi gosod delwau Cæsar i fynu yn eu hamrywiol ddinasoedd, ym mysg eraill o'u duwiau, iddynt hwy yn unig wrthwynebu hyn, ydoedd nesaf i ymddygiad gwrthryfelwyr, ac yr oedd yn ammharch i Cæsar.

A phan safasant ar fanylrwydd eu cyfraith, a defodau eu gwlad; ac fel nad oeddid nid yn unig yn caniattau iddynt wneuthur delw o Dduw, nac yn wir o ddyn, a'i gosod mewn rhyw le gwaelaf o'r wlad, a llawer llai yn y deml. Petronius a attebodd, "Ac onid wyf finnau yn rhwym i gadw cyfraith fy arglwydd fy hun? canys os troseddaf hi, a'ch arbed chwi, cyfiawn a fydd fy nifetha: pan fydd i'r hwn a'm danfonodd, ac nid myfi, ddechreu rhyfel i'ch erbyn: canys yr wyf fi tan orchymmyn yn gystal a chwithau." Ar hyn yr holl liaws a lefodd allan eu bod yn barod i ddioddef dros eu cyfraith. Yna Petronius a'u distawodd hwynt, ac a ddywedodd, "A fydd i chwi gan hynny wneud rhyfel yn erbyn Cæsar?" Yr Iuddewon a ddywedasant, "Yr ydym yn offrymmu aberthau ddwywaith yn feunyddiol tros Cæsar, a thros holl bobl Rhufain; ond os gosoda ef ddelwau yn ein plith, rhaid iddo yn gyntaf aberthu yr holl genedl Iuddewig: ac yr ydym ni yn barod i roddi ein hunain, ynghyd a'n plant, a'n gwragedd i'u lladd." Wrth hyn fe synnodd Petronius, ac a dosturiodd wrthynt, ar gyfrif y gofal anrhaethadwy yr oeddynt tano tros grefydd, a'r calondid oedd ganddynt yn eu gwneuthur yn barod i farw o'i herwydd. Felly hwy a ollyngwyd ymaith heb lwyddo.

Ond ar y dydd canlynol fe alwodd ynghyd y gwŷr o awdurdod yn ddirgel, a'r lliaws yn gyhoeddus: ac weithiau fe a arferai eu perswadio, a phryd arall a'u cynghorai hwynt; ond yn bennaf yr oedd yn arfer bygythion wrthynt, ac yn sefyll ar awdurdod y Rhufeiniaid, ac anfoddlonrwydd Cæsar: ac heblaw hynny ar y angenrheidrwydd yr oedd ei hun tano, i wneud fel y gorchymmynwyd iddo. Ond fel na ellid yn un modd eu perswadio, a chan weled fod y wlad yn sefyll mewn perygl o fod heb ei llafurio, (oblegid yr ydoedd ynghylch amser hau, pan arhosodd y bobl ddeng niwrnod a deugain ynghyd heb weithio;) efe o'r diwedd a'u cafodd ynghyd, ac a ddywedodd wrthynt, ei fod yn gweled yn oreu beryglu ei hun i ryw radd: "canys," eb efe, "un ai mi a ennillaf Cæsar, trwy nerth dwyfol, ac a ddiangaf fy hun rhag y perygl yn gystal â chwithau, yr hyn a fydd yn achos o lawenydd i ni bob un: neu, os pery Cæsar yn ei lid, byddaf barod i beryglu fy myw-

* Yr hanes yma am le, yn agos i safn y ddinas Belus, yn Phœnicia, i ba le y deuai'r tywod, â pha un yr oedd yr hynafiaid yn gwneuthur gwydr, sydd beth adnabyddus mewn hanesyddiaeth: yn enwedig yn Tacitus a Strabo; ac yn fwy helaeth yn Pliny: fel y mae Aldrich a Spanheim yn tystio.

† Y Memnon yma ydoedd ag amryw feini, neu golofnau coffadwriaeth ynddynt: ac un o honynt a ymddengys oddiwrth Strabo a Diodorus, ei fod yn Syria; ac nid yn anhebygol yn y lle hwn. Gwel nod y Deon Aldrich ar y lle hwn.

yd fy hun, tros y fath nifer o bobl ag ydych chwi." Ar hyn fe ollyngodd ymaith y lliaws, y rhai a weddiasant yn fawr tros ei lwyddiant; ac efe a gymmerodd y fyddin allan o Ptolemais, ac a ddychwelodd i Antioch: o ba le yn ebrwydd y danfonodd epistol at Cæsar; ac a hyspysodd yr ymgyrch a wnaethai i Judea, a'r ymbiliau a osodasai cenedl yr Iuddewon o'i flaen: ac oddigerth ei fod yn foddlon i golli 'r wlad, a'r dynion oedd ynddi, rhaid oedd iddo ef ganiattau iddynt gadw eu cyfraith, a gwrth-orchymmyn yr archiadau a roesai o'r blaen iddo. Caius a attebodd yr epistol hwnno mewn dull digofus; aca fygythiodd roddi Petronius i farwolaeth, am fod mor hwyrfrydig i gyflawni yr hyn a archasai. Ond fe ddigwyddodd i'r rhai a ddygent epistol Caius gael rhwystr gan dymmestl yn eu mordwyad tros dri mis, tra'r oedd eraill a ddygasant newyddion am farwolaeth Cæsar wedi cael mor-daith dda. Yn ganlynol Petronius a dderbyniodd yr epistol berthynol i gwymp Caius, saith ar hugain o ddyddiau cyn derbyn yr un hynny yn erbyn ei fywyd ei hun.

## PENNOD XI.

*Am lywodraeth Claudius; a thyrnasiad Agrippa; hefyd ymherthynas i farwolaeth Agrippa a Herod; ac am y plant a adawsant bob un ar eu hol.*

YR awr wedi i Caius deyrnasu tair blynedd, ac wyth mis, a darfod ei ladd trwy fradwriaeth; Claudius a gludwyd ymaith gan y byddinoedd oedd yn Rhufain, i gymmeryd arno 'r llywodraeth. Ond y senedd, ar olygiad y prif swyddogion, Sentius Saturninus, a Pomponius Secundus, a roesant orchymmyn i dair byddin o filwyr ag oedd yn aros gyd â hwynt i gadw y ddinas mewn llonyddwch: a hwy a aethant i fynu i'r cabidyl-dŷ yn lliaws mawr, ac a ymroesant i wrthwynebu Claudius trwy rym arfau, ar gyfrif y driniaeth farbaraidd a gyfarfuant oddi wrth Caius: a hwy a benderfynasant i sefydlu 'r genhedlaeth tan lywodraeth bendefigaidd, fel y buasent gynt; neu, o'r hyn leiaf, i ddewis trwy lais cyffredin, y fath ymerawdwr ag a fyddai deilwng o'r sefyllfa honno.

Yn awr fe ddigwyddodd y pryd hwn i Agrippa gymmeryd taith i Rufain; a galw o'r senedd am dano i gyd-ymgynghori â hwynt: ac ar yr un amser Claudius a ddanfonodd am dano i'r gwersyll; fel y byddai yn wasanaethgar iddo ef, fel y byddai achos arno am ei wasanaeth. Felly ag efe yn canfod fod Claudius mewn effaith wedi ei wneud eisoes yn Cæsar, a aeth atto ef: yr hwn a'i danfonodd megis cennadwr at y senedd, i adael iddynt wybod pa fath ydoedd ei fwriad: mai, yn y lle cyntaf, heb ei gais ef, y darfu ei gymmeryd ymaith gan y milwyr: ac ymhellach farnu o hono, nad oedd iawn iddo adael y milwyr hynny yn eu cyfryw sêl trosto; ac os gwnai hynny, ei amgylchiad ei hun a fyddai mewn ansicrwydd; oblegid ei fod yn beryglus i wrthod unwaith alwad i'r ymerodraeth. Chwanegodd ymhellach, y byddai iddo weini'r llywodraeth fel tywysog da, ac nid fel gorthrymwr: oblegid y boddlonai efe â'r anrhydedd o gael ei alw yn ymerawdwr: ond y byddai iddo yn ei holl gyfraniadau ganiattau iddynt oll gyfrannu eu cynghorion iddo ef: canys er nad oedd wrth naturiaeth am gymmedroldeb; etto'r oedd marwolaeth Caius yn rhoddi prawf digonol iddo mor ochelgar y dylai weithredu yn y sefyllfa honno.

Y gennadwri hon a draddodwyd gan Agrippa. I'r hyn yr attebodd y senedd, mai gan fod ganddynt hwy fyddin, a'r ymgyngoriadau doethaf o'u plaid hwynt, na oddefent gaethiwed ewyllysgar. A phan glybu Claudius pa fath attebiad a wnaethai'r senedd; danfonodd Agrippa attynt yr ail-waith gyd â'r neges canlynol; na allai efe oddef y meddyliau o fradychu y rhai a roesant eu llŵon o fod yn ffyddlon iddo ef; a gweled o hono fod yn rhaid iddo ymladd, er mai yn anewyllysgar: fod yn addas, pa fodd bynnag, dewis lle y tu allan i'r ddinas i ryfela; oblegid nad oedd yn gyttun â rheswm iddynt halogi temlau eu dinas eu hun â gwaed eu cyd-wladwyr; a hynny yn unig ar gyfrif eu byrbwylldra a'u hannoethineb hwynt. Ac wedi i Agrippa glywed y neges hwn, fe'i traddododd i'r senedd.

Yn y cyfamser un o'r milwyr oedd yn perthyn i'r senedd a dynnodd ei gleddyf, ac a lefodd allan, "O fy nghyd-filwyr, beth yr ydym yn ei feddwl wrth y dewisiad hwn o'r eiddom? i ladd ein brodyr, ac i wneud trais â'n carennydd ag sydd gyd â Claudius? pan y mae i'w gael yn ymerawdwr arnom yr hwn ni all neb osod bai i'w erbyn; a'r hwn sydd ganddo hawl mor gyfiawn i'r llywodraeth: a hyn ymherthynas iddynt hwy.

â pha rai yr ydym yn myned i ymladd." Wedi iddo lefaru hyn, fe dramwyodd trwy'r holl senedd, ac a ddug yr holl filwyr ymaith gyd ag ef. Ar hyn yr holl foneddigion a lanwyd â dychryn mawr, wedi ymadawiad y milwyr oddiwrthynt; ac o herwydd nad oedd un ffordd arall yn ymddangos i'r hon y gallent ddychwelyd am waredigaeth, gwnaethant frŷs i fyned ar hyd yr un ffordd a'r milwyr at Claudius. Ond y rhai a gawsant y blaenoriaeth ar gyfarch Claudius yn brydlon, a'u cyfarfuant hwy o flaen y muriau â'u cleddyfau noethion: ac yr oedd rheswm i ofni y byddai y rhai a ddaethant gyntaf mewn perygl, cyn i Claudius allu gwybod pa ryw drais yr oedd y milwyr yn myned i'w gynnyg iddynt, pe na buasai i Agrippa redeg o'r blaen, a dywedyd wrtho pa fath beth peryglus yr oeddynt yn myned yn ei gylch: ac oddieithr iddo attal trais y bobl oedd mewn cynnwrf gwallgofus yn erbyn boneddigion y senedd, y collai y rhai hynny ar ba rai yr oedd yn fwyaf dymunol iddo gael llywodraethu; ac y byddai yn ymerawdwr ar ddiffeithwch.*

Pan glybu Claudius hyn, efe a attaliodd drais y milwyr, ac a wnaeth dderbyniad o'r senedd i'r gwerssyll, ac a ymddygodd tu ag attynt mewn modd parchus; ac a aeth allan gyd â hwynt ar fyr i offrymmu eu diolchgar aberthau i Dduw, yr hyn oedd addas ar ei ddyfodiad cyntaf i'r ymerodraeth. Ymhellach fe drefnodd i Agrippa ei holl dreftadol deyrnas yn ddi-oedd; ac a chwanegodd atti, heblaw y gwledydd a roddasid gan Augustus i Herod, Trachonitus, ac Auranitis; a chyd â hyn y deyrnas honno a elwir teyrnas Lysanias. Y rhodd yma a hyspysodd i'r bobl trwy orchymmyn: ond fe orchymynodd beri ei argraphu ar daflennau o brês, a'u gosod i fynu yn y cabidyl-dŷ. Yna y rhoddodd i'w frawd Herod, yr hwn oedd hefyd ei fab-ynghyfraith, trwy briodi ei ferch Bernice, deyrnas Chalcis.

Felly yn awr cyfoeth a ddylifodd i mewn at Agrippa, trwy feddiannu y fath lywodraeth ehang. Ac ni wnaeth gam-ddefnydd o'r arian a dderbyniodd ar achosion bychain. Ond efe a ddechreuodd amgylchu Jerusalem â mur, yr hwn pe dygasid i berffeithrwydd, a'i gwnaethai yn ammhosibl i'r Rhufeiniaid ei chymmeryd trwy gynllwyn. Ond ei farwolaeth, yr hyn a ddigwyddodd yn Cæsarea cyn iddo gyfodi'r muriau i'w hiawn uchder, a'i lluddiodd ef. Efe y pryd hynny a deyrnasasai dair blynedd, fel y llywodraethasai ei daleithiau eraill dair yn rhagor o flynyddau. Gadawodd ar ei ol dair o ferched, a anesid iddo o Cypros; Bernice, Mariamne a Drusilla; a mab wedi ei eni o'r un fam, yr hwn a enwasid Agrippa. Gadawsai ef yn blentyn tra ieuangc: felly Claudius a wnaeth y wlad yn dalaith Rufeinig; ac a ddanfonodd Cuspius Fadus i fod yn Rhaglaw arni; ac ar ei ol ef Tiberius Alexander: yr hwn heb wneuthur o honoddim cyfnewidiad yn y cyfreithiau hynafiaethol a gadwodd y genedl mewn tawelwch. Yn awr ar ol hyn, Herod, brenin Chalcis a fu farw, ac a adawodd o'i ol ddau o feibion, wedi eu geni iddo o Bernice, merch ei frawd. Eu henwau oeddynt Bernicianus, a Hyrcanus. Gadawodd o'i ol hefyd Aristobulus, yr hwn a gawsai o'i wraig flaenorol, Mariamne. Yr ydoedd heblaw hynny fab arall iddo ef, yr hwn a fu farw yn berson unigol: ei enw ef hefyd oedd Aristobulus, yr hwn a adawodd ferch o'i ol, a elwid Jotape. A'r rhai hyn oll, fel y soniais o'r blaen, oeddynt hiliogaeth Aristobulus, mab Herod: yr hwn Aristobulus ac Alexander, a anwyd i Herod o Mariamne, ac a laddwyd ganddo ef. Ond am hiliogaeth Alexander, hwy a deyrnasasant yn Armenia. †

## PENNOD XII.

*Terfysgoedd yn cyfodi tan Cumanus; ond a lonyddir gan Quadratus. Ffelix yn cael ei wneud yn rhaglaw Judea; ac Agrippa yn cael ei ddyrchafu o Chalcis i feddiannu mwy teyrnas.*

AR ol marw Herod, brenin Chalcis, Claudius a osododd Agrippa, mab Agrippa, ar deyrnas ei ewythr; ‡ tra y darfu i Cumanus gymmeryd arno y swydd o raglawiaeth ar y gweddill, megis talaith Rufeinaidd; ac yn hynny fe ddilynodd Alexander. O dan y Cumanus hwn y dechreuodd y trallodion, a'r dinystr a ddaeth ym mlaen ar yr Iuddewon. Canys wedi i'r lliaws

* Hynaf. XIX. 4.

† Hynaf. XX. 3.

‡ Cymharwch â'r hanesion hyn yn Josephus yr un hwnnw a berthyn i Justus o Tiberias, yr hwn oedd dra adnabyddus o deulu'r Agrippa hwn. Dywed efe ddarfod i'r Agrippa yma, brenin diwaethaf yr Iuddewon, gael y llywodraeth tan Claudius; chwanegu atti tan Nero; a'i helaethu drachefn gan Fespasian: a marw o hono yn y drydedd flwyddyn i Trajan.

ddyfod ynghyd i Jerusalem, i ŵyl y bara croyw, a thorf o filwyr Rhufeinig yn gwylio ar ystefylldai y deml: (canys yr oeddynt bob amser yn arfog, ac yn cadw gwyliadwriaeth ar yr ŵyl, i ragflaenu terfysg a allai'r lliaws wedi ymgynnull fel hyn ynghyd ei wneuthur:) un o'r milwyr a ddinoethodd ei hun mewn modd anweddaidd o flaen yr Iuddewon, gan siarad y fath eiriau ag a ellid ddisgwyl gan un mor llawn o ddigywilydd-dra. Wrth hyn fe gyffrodd yr holl liaws gan ddigter, ac a wnaethant eu cŵyn wrth Cumanus, am osod o hono gospedigaeth ar y milwr. Tra y syrthiodd yr ieuengctyd mwyaf byrbwyll, a'r rhai tueddol i derfysg i ymladd â'r milwyr, gan godi cerrig, a'u taflu attynt hwy. Ar hyn Cumanus a ofnodd rhag i'r holl bobl wneud ymosodiad arno ef; ac a ddanfonodd i alw atto ychwaneg o wŷr arfog, y rhai pan ddaethant yn nifer liosog i'r cyntedd, yr Iuddewon a frawychasant yn fawr; ac wedi eu curo allan o'r deml, hwy a redasant i'r ddinas. A'r trais a arferasant wrth ymdrechu i fyned yn dorfeydd allan ydoedd mor fawr, fel y sathrasant y naill y llall, ac y gwasgasant eu gilydd, nes lladd o honynt ynghylch deg mil; yn gymmaint ag i'r ŵyl hon ddyfod yn achos o alar i'r holl genedl; a phob teulu a alarasant tros eu perthynasau eu hunain.

Yn awr fe ddilynodd ar ol hyn flinder arall, yr hwn a ddigwyddodd trwy derfysg a wnaethpwyd gan yspeilwyr. Canys ar brif-ffordd Bethoron un Stephen, gwas i Cæsar, a gludodd ddodrefn gyd ag ef; y rhai a oddiweddwyd gan yr yspeilwyr, ac a gymmerwyd ymaith. Ar hyn Cumanus a ddanfonodd wŷr i fyned o amgylch y pentrefi cymmydogol, ac i ddwyn eu trigolion yn rhwym atto ef; megis yn gosod y bai arnynt hwy, am na erlidiasent ar ol y lladron, a'u cymmeryd hwynt. Yn awr yma y bu i ryw filwr, wedi cael llyfr cyssegredig y gyfraith ei rwygo yn ddrylliau, ac a'i taflodd i'r tân. Ar hyn yr Iuddewon a gythruddwyd yn fawr, fel pe buasai eu holl wlad ar dân; ac ymgasglodd cynnifer o honynt ynghyd oblegid eu sêl tros eu crefydd, megis trwy nerth rhyw beiriant, ac a gyd-redasant gyd ag achwyniaeth i Cæsarea at Cumanus; gan wneuthur ymbiliau atto ef, nad edrychai heibio i'r dyn hwn; pa un a gynnygiasai y fath ddirmyg i Dduw, a'i gyfraith; ond bod iddo ei gospi ef am yr hyn a wnaethai. Yn ganlynol, ag ef yn canfod na fyddai'r lliaws yn llonydd heb gael rhyw attebiad boddlongar ganddo; rhoddodd orchymmyn ar fod i'r milwr gael ei ddwyn trwy ganol y rhai a ddeisyfiasant ei gospi i le o ddibenyddiad: yr hyn wedi darfod ei gyflawni, yr Iuddewon a aethant ymaith.

Ar ol hyn fe ddigwyddodd ymladdfa rhwng y Galileaid a'r Samariaid, mewn pentref a elwid Geman, yngwastadedd mawr Samaria; ymha le, fel ag yr oedd nifer mawr o Iuddewon yn myned i fynu i Jerusalem, i'r ŵyl,* rhyw un o'r Galileaid a laddwyd. Ac heb law hyn lliaws mawr o bobl a redasant ynghyd oGalilea, mewn trefn i ymladd â'r Samariaid. Ond y pennaethiaid ag oedd yn eu mysg a ddaethant at Cumanus; ac a ddeisyfiasant arno, cyn i'r drygau fyned yn anfeddyginiaethol, ddyfod i Galilea, a dwyn awdwyr y mwrddrad hwn i gospedigaeth: oblegid nad oedd un ffordd arall i wneud i'r lliaws wahanu heb ddyfod i ergydion: Pa fodd bynnag Cumanus a ddododd heibio eu deisyfiadau, i adael lle i achosion eraill ag ydoedd y pryd hynny yn eu cylch; ac a ddanfonodd y deisyfwyr ymaith heb lwyddo.

Ond pan ddaeth achos y mwrddrad hwn i gael ei fynegi yn Jerusalem, fe ddododd y lliaws mewn terfysg, ac a adawsant yr ŵyl: ac heb neb blaenoriaid yn arweinwyr iddynt, cyrchasant gyd â llidiowgrwydd mawr yn erbyn Samaria. Ac ni ellid eu rheoli gan neb o'r swyddogion a osodasid arnynt. Ond hwy a drefnwyd gan un Eleazar, mab Dineus, yn eu hymgyrch lledradaidd ac ymrysongar hwn. Y dynion hyn a syrthiasant ar y rhai oedd ynghymmydogaeth Actabane, ac a'u lladdasant hwynt, heb arbed un rhyw oedran; gan osod y pentrefi ar dân.

Ond Cumanus a gymmerodd un llu o wŷr meirch, a elwid llu Sebaste, allan o Cæsarea, ac a ddaeth yn gynnorthwy i'r rhai a yspeiliwyd. Efe hefyd a oddiweddodd nifer mawr o'r rhai hynny a ganlynodd Eleazar, ac a laddodd ychwaneg o honynt. Ac ymherthynas i'r lleill o'r lliaws, y rhai hynny a aethent mor llidiog i ymladd â'r Samariaid, llywodraethwyr Jerusalem a redasant allan i'w cyfarfod wedi ymwisgo â sachlïain, a chanddynt ludw ar eu pennau: ac a ddeisyfiasant arnynt fyned ymaith; rhag wrth

* Ysgatfydd gŵyl y pebyll.

geisio ymddial ar y Samariaid, iddynt gythruddo y Rhufeiniaid i ddyfod yn erbyn Jerusalem: ar fod iddynt dosturio wrth eu gwlad a'u teml; wrth eu plant a'u gwragedd, a pheidio dwyn y perygl mwyaf o ddinystr arnynt, mewn trefn i ddial eu hunain yn achos un Galilead yn unig. Yr Iuddewon a gyd-syniasant â'r perswadiad hwn, ac a wasgarasant eu hunain. Ond etto nifer mawr a ymroddasant i yspeilio, mewn gobaith o fyned yn ddi-gosp; ac ysglyfaethiad a therfysgoedd o'r fath hyfaf oedd wedi ymdanu trwy'r holl wlad. A'r gwŷr o awdurdod ymhlith y Samariaid a ddaethant i Tyre at* Ummidius Quadratus, rhaglaw Syria; gan ddymuno fod i'r rhai a anrheithiasant y wlad gael eu cospi. Gwŷr mawr yr Iuddewon, a Jonathan mab Ananus yr archoffeiriad, a ddaethant yno; ac a ddywedasant mai y Samariaid oedd dechreuwyr y cythrwfl, o herwydd y llofruddiad hwnnw a wnaethant: a darfod i Cumanus roddi achlysur i'r hyn a ddigwyddodd, trwy ei anewyllysgarwch i gospi dechreuol awdwyr y llofruddiad.

Ond Quadratus a roddodd y gwahanol bleidiau heibio tros yr amser hwnnw; ac a ddywedodd wrthynt pan ddeuai i'r lleoedd hynny y gwnai ymofyniad manwl ynghylch amryw ddamweiniau. Ar ol hyn efe a aeth i Cæsarea, ac a groeshoeliodd yr holl rai a gymmerasai Cumanus yn fyw. Ac wedi ei ddyfod oddi yno i'r ddinas Lydda, efe a wrandawodd achosion y Samariaid, ac a ddanfonodd am ddeunaw o'r Iuddewon, y rhai a glybu efe eu bod yn perthyn i'r ymryson, ac a dorrodd eu pennau hwynt: ond anfonodd ddau eraill o awdurdod fwyaf yn eu mysg, ynghyd a Jonathan ac Ananias yr archoffeiriad, ac Ananas hefyd, mab yr Ananias hwn, a rhai eraill oedd yn enwog ym mysg yr Iuddewon, at Cæsar; fel y gwnaeth yr un modd â'r rhai enwoccaf o'r Samariaid. Gorchymmynodd hefyd fod i Cumanus y rhaglaw, a Celer y tribun, fordwyo i Rufain, mewn trefn i roddi cyfrif i Cæsar am yr hyn a wnaethpwyd. Pan orphennodd y matterion hyn efe a aeth i fynu o Lydda i Jerusalem: ac wedi cael y lliaws yn cynnal gŵyl y bara croiw heb derfysg, efe a ddychwelodd i Antioch.†

Yn awr wedi i Cæsar yn Rhufain wrando yr hyn oedd gan Cumanus a'r Samariaid i'w ddywedyd, (yr hyn a wnaethpwyd ynghlyw Agrippa, yr hwn oedd yn gwresog amddiffyn achos yr Iuddewon; ac yn y cyffelyb fodd y safodd amryw o'r gwŷr mwyaf yn ymyl Cumanus,) efe a gondemniodd y Samariaid: ac a orchymmynodd fod i dri o'r rhai pennaf yn eu mysg gael eu rhoddi i farwolaeth. Fe alltudiodd Cumanus, ac a ddanfonodd Celer yn rhwym i Jerusalem, i'w draddodi trosodd i'r Iuddewon, i gael ei arteithio ganddynt: fod iddo gael ei lusgo trwy'r ddinas, a'i ben i gael ei dorri ymaith.

Ar ol hyn Cæsar a ddanfonodd Ffelix, ‡ brawd Pallas, i fod yn rhaglaw Galilea, Samaria, a Perea; ac a symmudodd Agrippa o Chalcis i fwy teyrnas. Canys fe roddodd iddo y detrarchiaeth a berthynodd i Philip; yr hon oedd yn cynnwys Batanea, Trachonitis, a Gaulanitis. Hefyd fe chwanegodd atti deyrnas Lysanias, a thalaith a lywodraethasid gan Varus. Ond Claudius ei hun, wedi iddo weini'r llywodraeth dros dair blynedd ar ddeg, wyth mis, ac ugain o ddyddiau, a fu farw: ac a adawodd Nero i fod yn ddilynwr iddo yn yr ymmerodraeth.† Yr hwn a fabwysiadodd trwy hudoliaeth ei wraig Agrippina, i'r diben i'w osod i deyrnasu yn ei le, er bod ganddo fab ei hun, enw pa un oedd

* Yr Ummidius, neu Numidius, neu, megis y gelwir ef gan Tacitus, Vimidius Quadratus hwn a grybwyllir mewn argraph hynafol, etto mewn bod, fel y mae Spanheim yma yn hyspysu i ni: ag sydd yn ei alw UMMIDIUS QUADRATUS.

† B. A. 52.

‡ Cymmerwch hanes y Ffelix hwn (a adwaenir yn dda oddiwrth Actau 'r Apostolion, yn enwedig oddiwrth ei gryuedigaeth, pan draethodd St. Paul am gyfiawnder, dirwest, a'r farn a fydd, Act. xxiv. 25. ac nid rhyfedd ydoedd, pan welwn mewn lle arall, ei fod yn byw mewn godineb gyd â Drusilla, gwraig i ŵr arall, Hynaf. XX. 7.) yngeiriau Tacitus. a goffeir yma gan y Deon Aldrich: "Ffelix a arferodd," medd Tacitus, "awdurdod brenin, gyd â thuedd caethwas: a chan hyderu ar awdurdod mawr ei frawd Pallas, yn y llys, fe feddyliodd y gallai yn ddiogel fod yn euog o bob math o ymarferiadau annuwiol." Golygwch hefyd yr amser y gwnaethpwyd ef yn rhaglaw. B. A. 52. mai pan ddadleuodd St. Paul ei achos o'i flaen ef, B. A. 58, gal asai fod er's amryw flynyddau yn farnwr y genedl honno, fel y dywed St. Paul ei fod ef, Act. xxiv. 10. Ond am yr hyn a ddywed Tacitus yma; mai cyn marwolaeth Cumanus, fod Ffelix yn rhaglaw ar Samaria yn unig, nid yw yn cyttuno yn dda â geiriau St. Paul, yr hwn yn brin a gyfrifai Samaria yn berthynol i'r genedl Iuddewig. Yn fyr, gan fod yr hyn a ddywed Tacitus yma, ynghylch gwledydd ag oedd mewn pellder mawr oddiwrth Rufain, lle'r ydoedd efe yn byw; a chan fod yr hyn a ddywed ynghylch dau o raglawiaid Rhufeinaidd, un yn Galilea, a'r llall yn Samaria yr un pryd, heb ddim esampl o hono oll mewn lle arall: fel y mae Josephus, yr hwn oedd yn byw yr amser hynny yn Jndea, yn ymddangos megis heb wybod dim am y rhaglawiaeth yma o eiddo Ffelix, cyn marwolaeth Cumanus, yr wyf yn ammau'r chwedl fy hun yn fawr: a'i fod yn ddim llai na cham-gymmeriad Tacitus: yn enwedig fel yr ymddengys yn cael nid yn unig ei esgeuluso, ond ei wrthwynebu gan Josephus, fel y gall y sawl a ddewiṣo weled hynny a gydmaro eu hanesion â'u gilydd. Ysgatfydd y gallai Ffelix fod yn ail-farnwr ym nhlith yr Inddewon ryw amser o'r blaen, dan Cumanus. Ond ei fod yn ddirprwywr Samaria o'r blaen, ni's gallaf ei gredu. Esgob Pearson, yn gystal a'r esgob Lloyd, sydd yn coffa'r hanes hwn, ond gyd â diweddiad ammheus---os gallwn gredu Tacitns.

§ B. A. 51.

Britannicus, o Mesialina, ei wraig o'r blaen; a merch, yr hon a elwid Octavia, yr hon a briododd â Nero. Yr ydoedd iddo hefyd ferch arall o Petina, a elwid Antonia.

## PENNOD XIII.

*Am chwanegiad pedair o ddinasoedd at deyrnas Agrippa, pan oedd y rhannau eraill o Judea yn aros tan Ffelix; y terfysgoedd a gyfodwyd gan y Sicariaid, y swynwyr, a gau-brophwyd o'r Aipht: a'r ymryson rhwng yr Iuddewon a'r Syriaid yn Cæsarea.*

YN awr am y pethau ymherthynas i ba rai y gweithredodd Nero fel dyn gwallgof, trwy y radd anghymmedrol o gyfoeth a feddiannodd; a thrwy'r moddion hynny a arferodd ei lwyddiant er niweid eraill: ac ym mha ddull y lladdodd ei frawd, a'i wraig, ynghyd â'i fam; oddi wrth ba rai yr ymdanodd ei greulondeb at eraill, ag oedd o berthynas nesaf iddo; a'r modd, yn y diwedd yr amhwyllodd o blegid gwneuthur o hono hynny, a'i fod yn euog o'r trychineb hwn; yr wyf yn gadael o'r neilldu son ymhellach am danynt; o blegid fod ysgrifenwyr am y pethau hyn i'w cael ymhob man. Ond mi gadwaf fy hun at y gweithredoedd hynny o'i amser ef, pa rai oedd fwyaf perthynol i'r Iuddewon.

Nero gan hynny a roddodd deyrnas Armenia leiaf i Aristobulus * fab Herod, ac fe chwaegodd at deyrnas Agrippa bedair dinas, gyd â'r ardaloedd a berthynai iddynt; sef Abila, a Julias, gyd â Perea; Tarichea hefyd, a Thiberias. Ond ar y rhan arall o Judea, fe wnaeth Ffelix yn rhaglaw. Y Ffelix hwn a gymmerodd Eleazar, yr arch-yspeilwyr, a llawer oedd gyd ag ef yn fyw; wedi iddynt anrheithio 'r wlad tros ugain mlynedd ynghyd, ac a'u danfonodd i Rhufain. † Ond am rifedi 'r yspeilwyr a barodd eu croeshoelio, a'r rhai a gymmerwyd yn eu mysg, ac a ddygodd i gospedigaeth, yr oedd yn lliaws rhy anhawdd eu cyfrif.

Wedi puro'r wlad oddi wrth y rhai hyn, cyfododd math arall o yspeilwyr yn Jerusalem, y rhai a elwid y Sicarii; y rhai a laddent ddynion liw dydd, ac ynghanol y ddinas. Hyn a wnaethant yn bennaf ar yr ŵyl, pan gymmysgent eu hunain â'r lliaws, gyd â chleddyfau byrion yn guddiedig tan eu gwisgoedd, â pha rai y brathent y rhai hynny a fyddai'n elyniaethol iddynt; a phan syrthient i lawr yn farw, y mwrddrwyr a gymmerant arnynt fod o nifer y rhai a fyddai 'n elynion iddynt. Trwy 'r hyn yr ymddangosant yn ddynion o'r fath gyfrifiad, fel nad ellid mewn un modd eu datguddio. Y dyn cyntaf a laddwyd ganddynt ydoedd Jonathan yr archoffeiriad. Ar ol marwolaeth pa un llawer a laddwyd bob dydd; pan oedd yr ofn ag ydoedd dynion ynddo o gael eu gorddiwes y modd hwnnw yn fwy poenus na'r dinystr ei hun; a phan oedd pawb megis bob awr yn disgwyl eu marwolaeth, fel dynion mewn rhyfel. Felly yr oeddynt tan angenrheidrwydd i edrych o'u blaen, a dal sulw ar eu gelynion o bell: neu os eu cyfeillion a ddeuai attynt, ni allent yn hwy ymddiried iddynt. Ond ynghanol eu hamheuon, a'u gofal am danynt eu hunain, y fath oedd cyflymdra y bradychwyr yn eu herbyn, a chyfrwysdra eu dichellion.‡

Yr ydoedd hefyd gorph arall o ddynion drygionus wedi dyfod ynghyd; nid mwy anferth yn eu gweithredoedd, ond gwaeth yn eu dibenion; y rhai a ddadymchwelodd gyflwr dedwydd y ddinas, megis y llofruddion hyn. Y rhai hyn oedd gyfryw ddynion ag oedd yn twyllo, ac yn hudo 'r bobl; trwy haeru eu bod o ddwyfol ysprydoliaeth; ond a oeddynt a'u hamcan at ddadymchweliad llywodraeth. A hwy a barasant i'r lliaws ymddwyn fel gwallgofiaid, gan fyned o'u blaenau i'r anialwch; a haeru wrthynt y byddai i Dduw oddi yno ddangos iddynt arwyddion o ryddid. Ond Ffelix a farnodd fod y mynediad yma ym mlaen yn ddechreuad o wrthryfel. Felly fe ddanfonodd rai gwŷr meirch, a milwyr traed, i ddifetha nifer mawr o honynt.

Ond yr ydoedd gau-brophwyd o'r Aipht ag a wnaeth fwy o niweid i'r Iuddewon na'r rhai cyntaf: Canys twyllwr oedd efe, tan rith ei fod yn brophwyd hefyd; ac a gafodd ynghyd §ddeng mil a'r hugain o ddynion wedi eu hudo ganddo. Y rhai hyn a arweiniodd o amgylch o'r anialwch hyd y mynydd a elwid mynydd yr olewydd; ac a oeddynt barod i dorri i mewn i Jerusalem trwy drais o'r lle hwnnw; fel os gallai ond unwaith orchfygu gwersyll y Rhufeiniaid, a'r bobl, fe amcanodd arglwyddiaethu arnynt, trwy gynnorthwy y gwarcheidwaid hynny ag oedd i fyned

* Herod, brenin Chalcis. † Gwel Hynaf. XX: 8.

‡ Hynaf. XX. 8. § Pedair mil. Act. xxi. 25.

gyd ag ef i mewn i'r ddinas. Ond Ffelix a ragflaenodd ei gynnygiad, ac a'i cyfarfu â'i filwyr Rhufeinig, tra'r oedd yr holl bobl yn ei gynorthwyo yn ei ymosodiad arnynt. Yn gymmaint a phan ddaethant i frwydr, yr Aiphtwr a ddiangodd ymaith, gyd ag ychydig eraill, tra'r oedd y rhan fwyaf o'r rhai oedd gyd ag ef un ai wedi eu difetha, neu eu cymmeryd yn fyw: ond y gweddill o'r lliaws a wasgarwyd i'w cartrefi, ac yno a ymguddiasant.

Yn awr, wedi llonyddu y rhai hyn, fe ddigwyddodd megis mewn corph afiach, fod rhan arall yn ddarostyngol i boethfa. Canys cwmpeini o dwyllwyr ac yspeilwyr a grynhoesant ynghyd, gan annog yr Iuddewon i wrthryfel, a'u perswadio i ddadleu am eu rhyddid. Gosodasant i farwolaeth y rhai oedd yn parhau yn ufudd i'r llywodraeth Rufeinig; gan ddywedyd, am y rhai oedd yn ewyllysgar ddewis caethiwed, y dylid gwneud iddynt adael y fath dueddiadau. Canys hwy a rannasant eu hunain yn gyrph gwahanol; ac a safasant mewn gwyliadwriaeth i fynu ac i lawr trwy'r wlad, gan anrheithio tai gwŷr mawrion, a lladd y dynion eu hunain; a gosod y pentrefi ar dân; a hynny nes llenwi holl Judea ag effaith eu cynddaredd; ac fel hyn y chwythwyd y tân yn feunyddiol i fynu hyd oni thorrodd allan o'r diwedd yn rhyfel cyhoeddus.

Bu hefyd ymryson arall yn Cæsarea. Yr Iuddewon hynny ag oedd yn gymmysgedig a'r Syriaid, y rhai ydoedd yn byw yno, a godasant derfysg yn eu herbyn; gan haeru mai hwynthwy oedd ei pherchennogion, am mai Iuddew oedd yr hwn a'i hadeiladodd. Y Syriaid a addefasant mai Iuddew oedd ei hadeiladwr: ond dywedasant mai dinas Roegaidd ydoedd er hynny; oblegid yr hwn a osodasai i fynu ddelwau a themlau ynddi ni allai fod yn ei bwriadu i Iuddewon. Ar ba gyfrif y gwahanol bleidiau a fu ganddynt ymryson â'u gilydd: a'r ymryson hwn a dyfodd mor fawr, ag y daeth at ddefnyddiad arfau; a'r rhai hyfaf o honynt a gychwynasant allan i ymladd. Canys henuriaid yr Iuddewon ni allent attal eu pobl eu hunain ag oedd â thuedd i fod yn derfysglyd: a'r Groegiaid a'i barnasant yn gywilyddus iddynt gael eu gorchfygu gan yr Iuddewon. Yn awr yr Iuddewon hyn oeddynt yn rhagori ar y lleill, mewn cyfoeth a grym corphorol. Ond y blaid Roegaidd oedd a'r fantais o gynnorthwy oddi wrth y milwyr. Canys y rhan fwyaf o wersyll y Rhufeiniaid a gawsid allan o Syria: a thrwy eu perthynas y modd hwn â'r blaid o Syriaid, yr oeddynt yn barod i'w cynnorthwyo hwynt. Pa fodd bynnag llywodraethwyr y ddinas oeddynt tan ofal i gadw pawb yn heddychlon. A pha bryd bynnag y dalient y rhai oedd fwyaf am ymladd, o un o'r ddwy blaid, hwy a'u cospent â gwialennodiau ac â rhwymau. Etto ni ddarfu i ddioddefiadau y rhai a ddaliwyd ddychrynu'r lleill, a pheri iddynt roddi heibio yr ymryson. Ond hwy etto a gyffroasant fwyfwy, ac a ymwnaethant i fyned yn ddyfnach mewn casineb i'w gilydd. Ac fel y daeth Ffelix unwaith i'r farchnadfa, gan orchymmyn i'r Iuddewon, wedi iddynt guro'r Syriaid, i fyned i'w ffordd, gan eu bygythio os na wnaent felly; a hwythau heb ufuddhau, danfonodd allan ei filwyr, ac a laddodd lawer o honynt; ar ba achos y digwyddodd i'w meddiannau hefyd fyned yn yspail. Ac fel yr oedd yr ymryson etto yn parhau, efe a ddetholodd allan y gwŷr enwoccaf ar bob tu i fyned yn gennadwyr at Nero, i ddadlu allan eu gwahanol ragor-freintiau.

## PENNOD XIV.

*Am ddilyniad Ffestus, Albinus, a Fflorus i ragla wiaeth Judea; y diweddaf o ba rai, trwy greulonder ei lywodraeth, sy'n gwneud i'r Iuddewon fyned i ryfel.*

YN awr Ffestus a ddilynodd Ffelix * fel rhaglaw, ac a'i gwnaeth yn orchwyl iddo i geryddu y rhai a barasai aflonyddwch yn y wlad. Felly fe ddaliodd y rhan fwyaf o'r yspeilwyr, ac a ddifethodd lawer o honynt. Ond Albinus, yr hwn a ddaeth ar ol Ffestus, † ni chyflawnodd ei ddyledswydd fel y llall. Ac nid oedd un math o ddrwg a ellid ei enwi, nad ydoedd â llaw ynddo. Yn ganlynol ni ddarfu iddo yn unig, yn ei swydd wladwriaethol, ledratta ac yspeilio meddiannau llawer; ac ni ddarfu iddo yn unig feichio yr holl genedl â threthoedd, ond fe ganiattaodd i berthynasau y rhai oedd mewn carchar am yspail, ac a ddodasid yno gan seneddwyr pob dinas, neu gan y rhaglawiaid o'r blaen, i'w hadbrynu am arian. Ac nid

* B. A. 66. † B. A. 62.

oedd neb yn cael aros yn y carcharau, fel drwg-weithredwyr, ond y rhai na roddasant ddim iddo. Ar yr amser hwn y bu i anturiaethau y rhai rhyfygus yn Jerusalem fod yn dra arswydus; pan oedd y gwŷr pennaf yn eu mysg yn pwrcasu rhyddid gan Albinus i fyned ymlaen â'u hymarferiadau gwrthryfelgar; a'r rhan hynny o'r bobl, ag oedd yn ymbleseru mewn terfysg, yn uno eu hunain â'r rhai oedd gymdeithasgar ag Albinus. A phob un o'r drygwŷr hyn a amgylchid â llu o yspeilwyr: tra'r oedd efe ei hun fel arch-yspeilydd neu orthrymwr, yn ymddangos ymhlith y cwmpeini, ac yn cam-arfer ei awdurdod ar y rhai o'i amgylch, i'r diben i yspeilio y rhai oedd yn byw mewn llonyddwch.

Yr effaith o hyn ydoedd ddarfod i'r rhai a gollasant eu heiddo orfod tewi â sôn, pan oedd ganddynt reswm i ddangos digter mawr wrth yr hyn a ddioddefasant: ond bod y rhai a ddiangent yn gorfod gwenieithio i'r sawl a haeddodd gael ei gospi, oddi ar yr ofn yr oeddynt ynddo o ddioddef yn gydradd ag eraill. Yn y cwbl, ni feiddiai neb ddywedyd eu meddyliau; ond rhoddid lle i orthrymder cyffredinol. Ac ar yr amser hwn yr hauwyd yr had a ddygodd y ddinas i ddinystr.

Ac er mai 'r fath yma ydoedd Albinus, etto darfu i Gessius *Fflorus, yr hwn ai dilynodd ef, † ei ddangos fel yn berson rhagorol dda, ar y cydmariaeth rhyngddynt. Canys y cyntaf a arferodd y rhan fwyaf o'i drais yn udirgel, a than fath o orchudd twyllodrus. Ond Gessius a weithredodd yn anghyfiawn, er niweid i'r holl genedl, yn y modd mwyaf rhwysgfawr: ac fel pe buasai wedi ei ddanfon i fod yn ddihenyddwr i gospi drwg-weithredwyr euog, ni ymattaliodd rhag un math o ysglyfaethiad na gorthrymder: lle 'r oedd yr amgylchiad yn galw, am fwyaf o dosturi, yr ydoedd efe yn fwyaf creulon; ac mewn pethau gwael yr ydoedd yn fwyaf digywilydd. Ac ni allai neb ragori arno yn gwahaniaethu 'r hyn oedd wir, na neb ddyfeisio ffyrdd mwy cyfrwysgall nag efe. Meddyliodd yn wir nad ydoedd ond trosedd bychan i fynnu arian gan bersonau neillduol: felly fe yspeiliodd ddinasoedd cyfain; ac a ddifethodd dorfeydd o ddynion ar unwaith; ac a fu yn agos a chyhoeddi trwy 'r holl wlad fod rhyddid iddynt i droi yn yspeilwyr ar yr ammod hwn; sef, bod rhan iddo ef o'r holl yspail a gymmerent. Yn ganlynol ei chwant i elw a fu 'n achos i daleithiau cyfain gael eu dwyn i anghyfannedd-dra; a llawer o bobl a adawsant eu gwlad eu hunain, ac a ffoasant i ardaloedd dieithr.

A phan oedd Gestius Gallus yn rhaglaw Syria, ni feiddiai neb gymmaint a danfon cennadwri atto gan Fflorus. Ond wedi ei ddyfod i Jerusalem ar agoshad gŵyl y bara croiw; y bobl a grynhoisant o'i amgylch: hyd y nifer o dair myrddiwn: ‡ y rhai hyn a ddeisyfiasant ar iddo dosturio wrth drallodion eu cenedl; gan achwyn ar Fflorus fel dinystrydd eu gwlad.

Ond fel ag yr oedd efe yn bresennol, ac yn sefyll yn ymyl Cestius, fe chwarddodd am ben eu geiriau. Pa fodd bynnag Cestius, wedi iddo dawelu 'r lliaws, a sicrhau iddynt y ca'i Fflorus ymddwyn yn dynerach tu ag attynt rhag llaw, efe a ddychwelodd i Antioch. Fflorus hefyd a aeth gyd ag ef cyn belled a Cæsarea, gan ei dwyllo ef; am fod ganddo yr amser hwnnw fwriad i ddangos ei ddigter tu ag at y genedl, ac i dynnu rhyfel arnynt: trwy ba foddion yn unig y meddyliodd y gallai guddio ei ysgelerder. Canys fe ddisgwyliodd os byddai i'r heddwch barhau, y cyhuddid ef gan yr Iuddewon o flaen Cæsar: ond os medrai gael ganddynt wrthryfela, byddai iddo eu troi oddiwrth osod beiau bychain i'w erbyn at ddioddefiadau ag oedd lawer mwy. Efe gan hynny yn feunyddiol a drymhaodd eu cystuddiau, i'r diben i'w hannog i wrthryfel.

Yn awr ar yr amser hwn, fe ddigwyddodd ddarfod i'r Groegiaid oedd yn Cæsarea fod yn rhy drech i'r Iuddewon; a chael meddiant gan Nero o'r llywodraeth ar y ddinas; a derbyn ganddo y farn benderfynol. Ar yr un pryd fe ddechreuodd y rhyfel, yn y ddeuddegfed flwyddyn o

* Nid hir amser a fu wedi dechreu llywodraeth Fflorus, y dyhiraf o'r holl raglawiaid Rhufeinig yn Judea, ac uniongyrchol achos y rhyfel Iuddewig, yn y ddeuddegfed flwyddyn i Nero, a'r 17 o deyrnasiad Agrippa, neu B. A. 66. y mae'r ugain llyfr o hanesion Josephus yn ei Hynafiaethau yn diweddu: er na orphenodd y llyfrau hyn hyd 13 o deyrnasiad Domitian, neu B. A. 93. saith mlynedd ar hugain ar ol hynny. Fel na's darfu iddo orphen eu Hangwanegiad, yn cynnwys hanes ei fywyd ei hun, hyd farwolaeth Agrippa, yr hyn a ddigwyddodd y 3dd flwyddyn i Trajan, neu B. A. 100, fel y crybwyllais o'r blaen.

† B. A. 64.

‡ Yma y gallwn nodi, fod 3,000,000 o'r Iuddewon ynghyd ar ŵyl y Pasc, B. A. 65. yr hyn sy'n cadarnhau'r peth a hyspysa Josephus i ni mewn lle arall; sef ar Basc ychydig yn ddiweddarach, hwy a gyfrifasant 256,500 o ŵyn Pasc: yr hyn yw deuddeg at bob oen; heb fod yn gyfrifiad anghymmedrol; ac sydd yn dyfod i 3,078,000. Gwel VI. 9.

deyrnasiad Nero, a'r eilfed ar bymtheg o deyrnasiad Agrippa; yn y mis Artemisius neu Jyar. Yn awr nid ydoedd yr achos o'r rhyfel hwn mewn un modd yn gyfattebol i'r blinderau trymion a ddygodd arnom. Canys yr Iuddewon a breswyliodd yn Cæsarea oedd ganddynt synagog yn agos i le oedd ag un o'r Groegiaid yn feddiannol arno. Yr Iuddewon a geisiasent yn fynych bwrcasu y lle hwnnw; a chnnyg amryw o weithiau ei werth am dano. Ond fel yr oedd y perchennog yn anwrandawus o'u cynnygiad, felly fe gododd adeiladau eraill ar y fan, mewn fford o wrthwynebiad iddynt, ac a wnaeth weith-dai o honynt: ac ni adawodd ond fordd gul, a honno yn dra thryblus, iddynt i fyned at eu synagog. Ar hyn y rhai mwyaf tanbaid o ieuengctyd yr Iuddewon a aethant gyd â brys at y gweithwyr, gan wahardd iddynt adeiladu yno. Ond fel na chaniattâi Fflorus iddynt ddefnyddio arfau, gwŷr mawr yr Iuddewon gyd ag Ioan y publican, wedi syrthio i'r fath anesmwthder na wyddent pa beth i'w wneuthur, a berswadiasant Fflorus ag addewid o wyth o dalentau i rwystro 'r gwaith: ac fel nad oedd efe a'i ogwydd at ddim y pryd hynny ond cael o hono arian, addawodd y gwnai pa beth bynnag a geisiant ganddo; ac yna fe aeth ymaith oCæsarea i Sebaste: ac a adawodd yr ymryson i gymmeryd ei ffordd yn hollol; fel pe buasai wedi gwerthu rhyddid i'r Iuddewon ei hymladd allan.

Yn awr ar y dydd nesaf, yr hwn oedd y seithfed dydd o'r wythnos, pan oedd yr Iuddewon yn myned yn dorfeydd i'w synagog, rhyw un o Cæsarea o dymmer faleisus, a gafodd lestr pridd, ac a'i gosododd â'i waelod i fynu wrth borth eu synagog; ac a aberthodd adar. * Hyn a gythruddodd yr Iuddewon i raddau anfeddyginiaethol, o herwydd dirmygu eu cyfreithiau, a halogi eu lle o addoliad. Ar yr hyn y darfu i'r rhai syber a chymmedrol o'r Iuddewon dybied yn addas i fyned at eu llywodraethwyr drachefn; tra 'r oedd y rhai terfysglyd o honynt, a'r rhai oedd y'mhoethineb eu hieuengctyd yn waedwyllt am ymladd. Y rhai ymrysongar o'r Cenhedloedd hefyd yn Cæsarea a safasant yn barod i'r un pwrpas. Canys hwy a gyttunasent i ddanfon y dyn i aberthu ym mlaen llaw, megis yn barod i'w amddiffyn ef. Felly daethant yn fuan i ergydion. Ar hyn Jucundus, blaenor y gwŷr meirch, yr hwn a barasid iddo luddias ymladdfa, a ddaeth yno; ac a symmudodd ymaith y llestr pridd, ac a ymdrechodd i attal yr ymryson. Ond wedi ei orchfygu gan drais pobl Cæsarea, yr Iuddewon a gymmerasant i fynu lyfrau eu cyfraith, ac a aethant ymaith i Narbata, yr hwn le oedd yn perthyn iddynt, ynghylch trugain 'stad o bellder. Ond Ioan, a deuddeg o'r gwŷr pennaf gyd ag ef a aethant at Fflorus i Sebaste; gan wneuthur cŵyn alarus ymberthynas i'w hamgylchiad, ac attolygu arno eu cynnorthwyo hwynt, a chyd â phob tacclusrwydd ymadrodd, a'i dodasant ar gôf o'r wyth dalent a roddasent iddo. Ond efe a barodd gymmeryd y gwŷr, a'u dodi yngharchar, ac a'u cyhuddodd am ddwyn o honynt ymaith lyfrau'r gyfraith allan o Cæsarea.

Ymhellach, am ddinasyddion Jerusalem, er cymmeryd o honynt hyn yn dra angharedig, etto hwy a attaliasant eu digofaint. Ond Fflorus a weithredodd yn hyn fel pe cyflogasid ef iddo, ac a chwythodd i fynu y rhyfel yn fflam dân: gan anfon adref i gymmeryd dwy ar bymtheg o dalentau allan o'r trysor cyssegredig; gan ddywedyd fod Cæsar mewn eisiau o honynt. Wrth hyn yr oedd y bobl yn derfysglyd, ac a gyd-redasant i'r deml gyd ag anferth aufoddlonrwydd, ac a alwasant ar Cæsar wrth enw; gan attolygu arno eu rhyddhau oddiwrth orthrymder Fflorus. Rhai hefyd o'r ymrysonwyr a waeddasant, gan fwrw y gwaradwyddiadau mwyaf arno ef; gan ddwyn basged gyd â hwynt o amgylch, a chardotta arian iddo ef, megis i un ag oedd yn ymddifad o feddianau, ac mewn cyflwr angheuus. Etto ni chywilyddiwyd ef wrth hyn am ei serch at arian; ond yr ydoedd yn fwy awyddus a thanbaid am gael etto ychwaneg. Ac yn lle dyfod i Cæsarea, fel y dylasai wneuthur, a diffodd tân y rhyfel, ag ydoedd â'i ddechreuad yno, felly symmud ymaith yr achos o bob aflonyddwch, ar ba gyfrif yr oedd wedi derbyn gwobr; efe a wnaeth ymgyrch ar frys gyd â byddin o wŷr meirch a gwŷr traed yn erbyn Jerusalem;

* Cymmerwch yma nod cyfaddas y Dr. Hudson. "Wrth y weithred hon" eb efe, "o ladd aderyn oddi ar lestr pridd, yr Iuddewon a olygid fel pobl wahanglwyfus; canys hynny oedd i gael ei wneuthur wrth eu cyfraith ynglanhâd y gwahanglwyf, (Lef. xiv.) Gwybyddir hefyd fod y cenhedloedd yn gwaradwyddo'r Iuddewon fel rhai darostyngedig i'r gwahanglwyf: a chredasant eu danfon allan o'r Aipht ar y cyfrif hwnnw." Hyn a ddarfu i'r awdwr enwog Mr. Reland ei arwyddo i mi.

fel y gallai gael ei ewyllys trwy arfau y Rhufeiniaid; a thrwy ei ofn a'i fygythion ddarostwng y ddinas.

Yn awr y bobl oedd yn ewyllysio gwneud i Fflorus gywilyddio am ei gynnygiad, ac a gyfarfuant â'i filwyr gyd â bloeddiadau; ac a ddodasant eu hunain mewn trefn i'w dderbyn yn dra gostyngedig. Ond efe a ddanfonodd Capito, y canwriad, ym mlaen llaw, gyd â deg a dengain o filwyr, i beri iddynt fyned yn ol, a pheidio gwneuthur derbyniad ymddangosiadol o hono ef, wedi iddynt mor gywilyddus ei waradwyddo o'r blaen: ac a ddywedodd fod rhwymedigaeth arnynt, os oeddynt yn rhai o yspryd gwrol, ac yn llefarwyr rhyddion, ei wawdio ef yn ei wyneb: a dangos eu hunain yn rhai ag oedd yn caru rhyddid, nid yn unig mewn geiriau, ond â'u harfau hefyd. Wrth y neges hwn fe synnodd y lliaws: ac ar ddyfodiad gwŷr meirch Capito i'w canol, hwy a wasgarwyd, cyn gallu o honynt gyfarch Fflorus, nac amlygu eu hymostyngiad iddo ef. Ac yn ganlynol hwy a ymadawsant i'w tŷau eu hunain; ac a dreuliasant y nos honno mewn ofn a syndod.

Yn awr yr amser hwn Fflorus a gyfanneddodd yn y palas: ac ar y dydd nesaf fe osododd ei orsedd farnol o'i flaen, ac a eisteddodd arni: pan ddarfu i'r archoffeiriaid, a'r gwŷr o awdurdod, a'r rhai o enwogrwydd mwyaf yn y ddinas ddyfod oll o flaen yr orsedd honno: ar yr hyn Fflorus a orchymynodd iddynt draddodi i fynu iddo ef y rhai a'i gwaradwyddasai: ac a ddywedodd y caent eu hunain gyfrannogi o'r dialedd oedd yn perthyn iddynt, os na ddygent ymlaen y rhai euog yn eu mysg. Ond hwy a dystiolaethasant fod y bobl o duedd heddychol; a hwy a ddeisyfiasant am faddeuant i'r rhai a ddywedasant ar gam; oblegid nad oedd i'w ryfeddu, ym mysg lliaws mor fawr, fod rhai yn fwy rhyfygus nag y dylasent fod, ac oblegid eu hieuengctyd yn ffol hefyd. A'i fod yn ammhosibl gwahaniaethu y rhai a droseddasant oddiwrth y lleill; pan oedd pob un yn ddrwg ganddo'r hyn a wnaethid, ac a'i gwadent oddi ar ofn y peth a ganlynai. Fod yn ddyled arno, pa fodd bynnag, arlwyo gogyfer a heddwch y genedl; a chymmeryd y fath gynghorion ag a dueddai i ddiogelu 'r ddinas i'r Rhufeiniaid: ac yn hytrach er mwyn nifer mawr o bobl ddiniweid, i faddeu i ychydig ag oedd yn euog: nag o herwydd rhifedi bychan o rai drwg, i ddodi lliaws mor mawr o rai da mewn cynnwrf ac annhrefn.

Fflorus a gythruddwyd yn fwy wrth hyn, ac a alwodd allan yn uchel ar y milwyr am anrheithio y lle a elwid y farchnadfa uchaf: a lladd y rhai a gyfarfyddent â hwynt. Felly y milwyr, gan gymmeryd y cyngor yma o'r eiddo eu llywodraethwr mewn ystyr gyttûn â'u chwennychiad i elw, ni ddarfu iddynt yn unig anrheithio y lle y danfonwyd hwy iddo; ond gan ruthro eu hunain i bob tŷ, hwy a laddasant ei breswylwyr. Felly y dinasyddion a ffoesant ar hyd yr heolydd culion, a'r milwyr a laddasant y rhai a ddalient, ac ni arbedasant un math o yspeiliad. Daliasant lawer o'r bobl lonyddaf, ac a'u dygasant o flaen Fflorus; y rhai yn gyntaf a geryddodd â gwialennodiau, ac yna a'u croeshoeliodd. Yn ganlynol, holl nifer y rhai a ddifethwyd y dydd hwnnw, gyd â'u gwragedd, â'u plant, (canys ni arbedasant hyd yn oed y mabanod eu hunain,) ydoedd ynghylch tair mil, a chwe chant. A'r hyn a wnaeth yr echryslonrwydd hwn yn drymmach, ydoedd, y drefn newydd o farbariaeth Rufeinaidd: canys Fflorus a anturiodd wneuthor y pryd hynny y peth na wnaethai neb o'r blaen: sef, gwneud i'r rhai o'r * radd farchawl gael eu ffrewyllu, neu eu croeshoelio o flaen ei frawdle; y rhai er eu bod wrth enedigaeth yn Iuddewon; etto'r oeddynt yn feddiannol ar ragorfreintiau Rhufeinaidd er hynny.

## PENNOD XV.

*Bernice yn anfon deisyfiad at Fflorus am arbed yr Iuddewon, ond yn ofer; ac ar ol diffodd y tân o wrthryfel, y mae'n ail-ennyn drachefn.*

YNGHYLCH yr amser hwn y † brenin Agrippa ydoedd yn myned i Alexandria, i gyfarch Alexander ar ei feddiant o lywodraeth yr Aipht gan Nero. Ond fel ag yr oedd ei chwaer Bernice wedi dyfod i Jerusalem; a gweled drwg ymarferiadau 'r milwyr, hi dristawyd yn fawr o'i herwydd; ac yn fynych a ddanfonodd flaenoriaid ei gwŷr meirch, a'i gwarchawdlu at Fflorus; gan attolygu arno attal y lladdfeydd hynny.

* Yma y mae gennym siamplau am Iuddewon genedigol, y rhai oeddynt o radd farchawl ym mysg y Rhufeiniaid, ac felly ni ddylasid fyth eu ffrewyllu neu eu croeshoelio, yn ol y cyfreithiau Rhufeinig. Gwel ynghylch y cyffelyb siampl yn St. Paul ei hun, Act. xxii. 25.

† B. A. 66.

Ond ni fynnai efe gydsynio â'i dymuniad; na gofalu dim ynghylch y lliaws a laddwyd eisoes, na'i huchelradd hi ag oedd yn eiriol trostynt; ond yn unig ynghylch y fantais a ddeuai iddo ef oddiwrth yr ysglyfaethiad hwn. Ië, y trais hwn a arferodd y milwyr, a dorrodd allan i'r fath radd o gynddeiriogrwydd, fel yr ymdywalltodd ar y frenhines ei hun. Canys ni ddarfu iddynt yn unig arteithio a difetha y rhai a ddaliasent o flaen ei llygaid; ond yn wir a'i lladdasent hithau hefyd pe na buasai iddi eu rhagflaenu trwy ffoi i'r palas; ac aros o hyd nos yno gyd â'i gwarchawdlu, y rhai oedd ganddi o'i hamgylch, rhag ofn ymgyrch y milwyr. Yn awr yr ydoedd hi yn trigo y pryd hynny yn Jerusalem, mewn trefn i gyflawni'r * adduned a wnaethai i Dduw. Canys mae'n arferol i'r rhai a gystuddiwyd ag afiechyd, neu â rhyw gyfyngder arall, i wneuthur addunedau, a thros ddeng niwrnod ar hugain cyn iddynt offrymmu eu haberthau, i ymarbed oddiwrth win, ac i eillio gwallt eu pen. Y pethau hyn yr oedd Bernice yn awr yn eu cyflawni: ac a safodd yn droednoeth o flaen brawdleFflorus, i erfyn arno am arbed yr Iuddewon. Etto ni allodd gael parch wedi ei ddangos iddi ei hun, ac ni allai ddiangc heb radd o berygl o gael ei lladd.

Hyn a ddigwyddodd yr unfed dydd ar bymtheg o'r mis Artemisius, neu Jyar. Yn awr ar y dydd nesaf y lliaws, y rhai ydoedd mewn ing mawr, a redasant ynghyd i'r farchnadfa uchaf, ac a wnaethant wylofain tra mawr am y rhai a ddifethasid: a'r rhan fwyaf o'u cri ydoedd yn achwyniad ar Fflorus. Wrth yr hyn y gwŷr o awdurdod a ddychrynasant, ynghyd â'r archoffeiriaid, ac a rwygasant eu gwisgoedd, ac a syrthiasant i lawr o flaen pob un o honynt, gan ddeisyf arnynt roddi heibio a pheidio a chythruddo Fflorus i gyflawni rhyw weithred anesgorol, heblaw yr hyn a ddioddefasent eisoes. Yn ganlynol y lliaws yn ebrwydd a gydsyniasant, o barch i'r rhai a ymbiliodd â hwynt, ac oddi ar obaith na wnai Fflorus ychwaneg o niweid iddynt.

Felly Fflorus a drallodwyd o herwydd fod yr aflonyddwch trosodd, ac a ymdrechodd i enyn y fflam honno drachefn: ac fe ddanfonodd am yr archoffeiriaid, a'r gwŷr enwog eraill, gan ddywedyd, mai'r unig brawf na fyddai i'r bobl wneuthur rhagor o derfysg ydoedd hyn; sef, bod iddynt fyned allan, a chyfarfod â'r milwyr oedd yn disgyn o Cæsarea, o ba le yr oedd dwy o finteioedd yn dyfod. A phan oedd y gwŷr yn annog y lliaws i wneuthur felly, danfonodd yntau ym mlaen llaw gyfarwyddyd i gauwriaid y minteioedd, am iddynt orchymmyn i'r rhai oeddynt tanynt i beidio dychwel cyfarchiad i'r Iuddewon, ac os cynnygient ddim yn ei erbyn er ei anfantais, ar fod iddynt wneuthur defnydd o'u harfau. Yn awr yr archoffeiriaid a gynnullasant y lliaws yn y deml, ac a ddymunasant arnynt fyned i gyfarfod y Rhufeiniaid, a chyfarch y minteioedd Rhufeinig yn dra moesgar, cyn i'w hamgylchiad truenus fyned yn anfeddyginiaethol. Yn awr y rhai ymrysongar ni fynnent gydsynio â'r annogaethau hyn. Ond ystyriaeth am y rhai a ddifethasid a'u gogwyddodd at y sawl oedd fwyaf hyf i ymladd.

Ar yr amser hwn pob offeiriad, a phob rhai o weision Duw,* a ddygasant allan y llestri cyssegredig, a'r gwisgoedd addurniadol, ymha rai yr arferent weini mewn pethau sanctaidd. Y telynorion hefyd, a chantorion hymnau, a ddaethant allan gyd â'u hofferynnau cerdd, ac a syrthiasant i lawr o flaen y lliaws; ac a ddeisyfiasant ar gadw o honynt yr addurniadau cyssegredig hynny iddynt; a pheidio cynnyrfu y Rhufeiniaid i'w cymmeryd ymaith oddi wrthynt. Gallech weled yr archoffeiriaid eu hunain y pryd hynny â lludw wedi ei daenu yn helaeth ar eu pennau,

* Yr addewid hon a ddarfu i Bernice, a elwir yma ac mewn mannau eraill yn frenhines, nid megis merch yn unig, a chwaer i ddau o frenhinoedd Agrippa y mwyaf, ac Agrippa yr ieuangaf, ond gweddw Herod, brenin Chalcis, ddyfod yn awr i'w chyflawni yn Jerusalem, nid ydoedd yr un Nazareaidd, ond y fath un ag a fyddai yr Iuddewon crefyddol yn arferol o wneuthur mewn gobaith o waredigaeth oddi wrth ryw afiechyd, neu berygl, fel y dengys Josephus yma. Pa fodd bynnag, y deng niwrnod ar hugain hyn o aros yn Jerusalem i ymprydio a pharottoi erbyn offrymiad rhyw aberth appwyntiedig, a ymddengys yn rhy faith, oddigeith ei fod yn hollol o ewyllysgarwch y foneddiges fawr hon. Nid yw yn ofynnol ynghyfraith Moses mewn perthynas i'r Nazareaid, Num. vi., ac y mae yn dra gwahanol oddi wrth amser St. Paul i'r fath barottoad, yr hwn ydoedd yn unig un diwrnod, Act. xxi. 26. Felly mae diffyg arnom eisoes o barhad yr hynafiaethau, i'n goleuo yn y lle hwn, fel y gwnaethant ar gymmifer o achosion mewn mannau eraill. Ysgatfydd yn yr oes yma fod traddodiadau y Phariseaid yn rhwymo yr Iuddewon i'r radd hon o benyd; nid yn unig ymherthynas i'r deng niwrnod ar hugain hyn o ymbarottoad, ond hefyd am fyned yn droednoeth yr holl amser hwnnw, yr hyn hefyd a ymostyngwyd i'w wneuthur gan Bernice. Canys ni a wyddom fel ag y mae iau Duw a'n Hiachawdwr yn gyffredin yn esmwyth, a'i faich mewn cydmariaeth yn ysgafn, yn y fath orchymmyn pendant, Math. xi. 30. felly yr oedd yr ysgrifenyddion a'r phariseaid ar amserau "yn rhwymo beichiau trymion, ac anhawdd eu dwyn;" ie, pan na chyffyrddent â hwynt eu hunain "ag un o'u bysedd," Math. xxiii. 4. Luc xi. 46,

* Y Lefiaid.

a mynwesau dyffygiol o bob gorchudd ond yr hyn a rwygwyd. Y rhai hyn a ddeisyfiasant ar bob un o'r gwŷr enwog wrth ei enw, a'r lliaws yn gyffredinol, na fyddai iddynt ar achos bychan fradychu eu gwlad i'r rhai a chwennychai ei gweled wedi ei hanrheithio; gan ddywedyd, "Pa les a fydd i'r milwyr gael cyfarchiad oddiwrth yr Iuddewon? neu pa ddiwygiad o'ch achosion a ddug i chwi, os nad ewch yn awr i gyfarfod â hwynt? Ond os cyferchwch hwynt yn foesgar, pob achlysur a dorrir ymaith oddi wrth Fflorus i ddechreu rhyfel: chwi ennillwch eich gwlad wrth hynny, a rhyddid oddiwrth bob chwanegol ddioddefiadau. Ac heblaw hyn fe fydd yn arwydd diffyg o lywodraeth arnoch eich hunain, os ymroddwch i gael eich perswadio gan ychydig o ymbleidwyr: tra mae'n gymhwysach i chwi ag sydd yn bobl mor liosog, i wneud i eraill arfer cymmedroldeb."

Trwy 'r perswadiad hwn a arferasant wrth y lliaws, hwy a rwystrasant rai trwy fygythion, ac eraill trwy 'r parch a ddangosid iddynt. Ar ol hyn hwy a'u harweiniasant allan; a hwy a gyfarfuant â'r milwyr mewn llonyddwch, a chyd â gwedd heddychlon. A phan ddaethant i fynu hyd attynt, hwy a'u cyfarchasant hwynt. Ond pryd na wnaethant un attebiad, y rhai ymrysongar a ddolefodd yn erbyn Fflorus, yr hyn oedd yn arwydd a roddid i syrthio arnynt. Y milwyr gan hynny a'u cylchynasant yn y fan, ac a'u tarawsant â'u ffyn cnwppa: ac fel yr oeddynt yn ffoi ymaith, y gwŷr meirch a'u mathrasant tan draed. Felly llawer a syrthiasant i lawr yn feirw wrth ddyrnodiau y Rhufeiniaid; ac ychwaneg wrth fathru eu gilydd gan frys i ddiangc rhagddynt. Yn awr yr ydoedd cyrchfa arswydus o amgylch y pyrth: a thra 'r oedd pawb yn gwneuthur brys i flaenori ar eu gilydd, eu ffoedigaeth oll a attaliwyd; a distryw dychrynllyd ydoedd ym mysg y rhai a syrthiasant; canys hwy a fygwyd, ac a wnaed yn ddrylliau, gan liosowgrwydd y rhai ydoedd uwchaf. Ac ni ellid gwahaniaethu un o honynt oddi wrth eraill gan eu perthynasau, mewn trefn i ofalu am eu claddedigaeth. Y milwyr hefyd a'u curasant, a syrthient ar y rhai a oddiweddent, heb ddangos iddynt ddim trugaredd; ac a yrrasant y lliaws trwy 'r lle a elwid * Bezetha, fel yr oeddynt yn gwneuthur eu ffordd i'r diben i fyned i mewn i gymmeryd meddiant o'r deml, a thŵr Antonia. Fflorus hefyd yn ewyllysio meddiannu'r lleoedd hyn, a ddygodd y rhai oedd gyd ag ef allan o balas y brenin, ac a fynnai eu cymmell i fyned mor bell a'r tŵr Antonia. Ond methodd gael ei amcan. Canys y bobl yn uniongyrch a droisant yn ol i'w wyneb, ac a attaliasant ruthr ei gynnygiad. Ac fel yr oeddynt yn sefyll ar nen eu tai, ergydiasant eu saethau at y Rhufeiniaid: y rhai wrth gael eu harcholli yn dost trwy hynny, o herwydd disgyn yr arfau hyn arnynt oddi uchod, a hwy heb allu gwneuthur ffordd trwy'r lliaws, ag oedd yn llenwi i fynu y tramwyfeydd culion, ciliasant i'r gwersyll ag oedd yn y palas.

Ond y terfysgwyr a ofnasant rhag i Fflorus ddyfod drachefn, a chael meddiant o'r deml trwy Antonia; felly hwy a ddringasant yn union ar stefyll-dai y deml, ag oedd yn gyssylltiedig ag Antonia, ac a'u torrasant i lawr. Hyn a wanhaodd drachwant Fflorus. Canys ag efe yn chwannog i feddiannu trysorau Duw yn y deml, ac ar y cyfrif hwnnw oedd yn ewyllysio dyfod i Antonia. Cyn gynted ag y torrwyd yr ystefyll-dai i lawr, gadawodd heibio ei anturiaeth. Yna fe ddanfonodd am yr archoffeiriaid a'r Sanhedrim; ac a ddywedodd wrthynt, ei fod yn myned ei hun mewn gwirionedd allan o'r ddinas; ond y gadawai iddynt hwy wersyll mor liosog ag a ddymunent. Ar hyn hwy a addawsant na wnaent ddim gwrthwynebiad os gadawai gyd â hwynt yn unig ond un llu: eithr nid y llu hwnnw a ymladdodd â'r Iuddewon: oblegid fod y lliaws yn dwyn drwg-ewyllys at y fyddin honno, ar gyfrif yr hyn a ddioddefasent oddi wrthi. Felly fe'u newidiodd fel y dymunasant; a chyd â gweddill y fyddin fe ddychwelodd ei hun i Cæsarea.

## PENNOD XVI.

*Cestius yn danfon Neopolitanus, y tribun, i weled ym mha gyflwr yr oedd achosion yr Iuddewon;*

* Yr wyf yn cymmeryd y Bezetha hwn am y mynydd bychan cyssylltedig â thu gogleddol y deml, lle'r oedd yr yspytty â phum porth neu 'stefyll-dai: islaw y rhai yr oedd llyn Bethesda, i ba un y disgynnai angel neu gennad ar amserau; i ba un y rhai a ddisgynnai gyntaf ar ol hynny a wnaed yn iach, Ioan v. 1. &c. Y sefyllfa hon o Bezetha yn Josephus, ar du gogledd y deml, ac heb fod ym mhell oddiwrth y tŵr Antonia, sydd yn cyttuno yn gymmwys â lle y cyfryw lynn yn yr amser presennol. Yn unig y pyrth neu 'stefyll-dai yn awr ydynt dri o nifer, Gwel Maundrel, t. d. 106. Ymddengys i'r holl adeiladau gael eu galw y ddinas Newydd: a'r rhan yma, lle'r oedd yr yspytty, yn enwedig Bezetha neu Bethesta, pen. 19.

*Agrippa yn gwneud araith wrth bobl yr Iuddewon; fel y tröai hwynt oddiwrth eu hamcano wneud rhyfel yn erbyn y Rhufeiniaid.*

Fflorus, pa fodd bynnag, a ddyfeisiodd ffordd arall, i wneud i'r Iuddewon ddechrau y rhyfel: a danfonodd at Cestius, ac a gyhuddodd yr Iuddewon ar gam o fod yn gwrthryfela yn erbyn y Rhufeiniaid; a chyfrifodd ddechreuad yr ymladdfa o'r blaen iddynt hwy, megis eu bod yn awdwyr yr aflonyddwch hwnnw, yn yr hwn nid oeddynt yn unig ond dioddefwyr. Etto nid oedd llywodraethwyr Jerusalem yn ddistaw ar yr achos hwn. Ond hwy a 'sgrifennasant eu hunain at Cestius, megis y darfu Bernice hefyd, ynghylch y gweithredoedd anghyfreithlon yr oedd Fflorus yn euog o honynt yn erbyn y ddinas. Ac wrth ddarllain y cyfrif a ruesai pob un, Cestius a ymgynghorodd â'i gadbeniaid ynghylch yr hyn a ddylai wneuthur. Yna awr rhai o honynt a feddyliodd yn oreu iddo fyned i fynu gyd â'i fyddin, un ai i ddarostwng y gwrthwynebwyr, os gwir a ddywedasid am danynt, neu sefydlu'r achosion Rhufeinaidd ar sail sicr, os ydoedd yr Iuddewon yn aros yn llonydd tanynt. Ond efe a feddyliodd yn oreu ddanfon un o'i gyfeillion agosaf ym mlaen llaw, i weled amgylchiad yr achosion: ac i roddi cyfrif cywir iddo am fwriadau'r Iuddewon. Yn ganlynol fe ddanfonodd Neopolitanus, un o'i dribuniaid, yr hwn a gyfarfu â'r brenin Agrippa, fel yr oedd yn dychwelyd o Alexandria yn Jamnia; ac a ddywedodd pwy oedd yr hwn a'i danfonodd, ac ar ba neges yr oedd yn myned.

Ac yma y bu ddarfod i'r archoffeiriaid, a'r gwŷr o awdurdod ym mysg yr Iuddewon, yn gystal â'r Sanhedrim, ddyfod i gyfarch y brenin, ar ei ddychweliad diangol. Ac wedi talu eu rhwymedigaethau iddo, galarasant o herwydd eu hamgylchiad eu hunain, ac a adroddasant iddo y triniaethau barbaraidd a gyfarfuasant oddiwrth Fflorus. Wrth ba ryw farbariaeth yr oedd Agrippa yn dra digllon: ond fe drosglwyddodd mewn modd cyfrwys ei ddigter at yr Iuddewon hynny ag yr oedd mewn gwirionedd yn tosturio wrthynt, fel y gallai guro i lawr eu meddyliau uchel am danynt eu hunain; ac a fynnai iddynt gredu na thriniasid hwy felly yn anghyfiawn, mewn trefn i'w troi ymaith oddiwrth ddial eu hunain. Felly y gwŷr mawr hyn, megis â gwell deall ganddynt na'r lleill, ac yn dymuno heddwch, o herwydd y meddiannau oedd ganddynt, a ddeallasant fod a cerydd hwn a roddodd y brenin iddynt er eu lleshad. Ond am y bobl, hwy a ddaethant drugain o stadau allan o Jerusalem, i gyfarch Agrippa a Neopolitanus. Ond gwragedd y rhai a laddwyd a ddaethant yn gyntaf oll, tan wylofain. Y bobl hefyd, pan glywsant eu galarnadau, a syrthiasant i ŵylo, gan attolygu i Agrippa eu cynnorthwyo hwynt. Llefasant hefyd allan ar Neopolitanus, gan achwyn oblegid y trueni a ddioddefasant tan Fflorus: a dangosasant iddynt, wedi dyfod i'r ddinas, y modd yr anghyfaneddwyd y farchnadfa, ac yr yspeiliwyd yr anneddau. Yna y perswadiasant Neopolitanus, trwy'r moddion o Agrippa, ar rodio o hono o amgylch y ddinas, gyd ag un o'i wasanaeth-ddynion, cyn belled a Siloam, fel y gallai wneud ei hun yn hyspys, fod yr Iuddewon yn ymostwng i bawb eraill o'r Rhufeiniaid, ac yn anfoddloni yn unig wrth Fflorus, o herwydd ei greulonder afresymmol tu ag attynt. Felly fe rodiodd o amgylch, ac a gafodd brawf digonol o'r dymmer dda yr oedd y bobl ynddi; ac yna fe aeth i fynu i'r deml. Yno y galwodd y lliaws ynghyd, ac a'u mawr-ganmolodd am eu ffyddlondeb i'r Rhufeiniaid; ac a'u taer-gynghorodd i gadw'r heddwch: ac wedi cyflawni y fath rannau o'r dwyfol addoliad yn y deml, ag oedd gyfreithlon iddo, yna fe ddychwelodd at Cestius.

Ond lliaws yr Iuddewon a ymddiddanasant â'r brenin, ac â'r archoffeiriaid; ac a ddymunasant eu cydsyniad i ddanfon cennadwyr at Nero yn erbyn Fflorus; a pheidio trwy ddistawrwydd a rhoddi lle i ddrwg-dybiau, ddarfod iddynt hwy fod yn achlysur o'r fath ddistryw ag a ddigwyddasai, a'u bod â thuedd i wrthryfel. Gan haeru 'r ymddangosent hwy megis yn ddechreuwyr y rhyfel, os na ragflaenent y gair a aethai allan, trwy ddangos pwy a'i dechreuodd. Ac fe ymddangosodd yn amlwg na fyddent lonydd, os rhwystra neb hwynt i ddanfon y fath gennadwriaeth. Ond Agrippa, er tybied o hono ei fod yn beth rhy beryglus iddynt appwyntio dynion i fyned yn gyhuddwyr Fflorus, er hynny ni thybiodd yn iawn iddo fod yn ddi-

* Rhaglaw Syria. Gwel pen. 14

ystyr o ddymuniad y bobl, gan eu bod â thuedd ynddynt i ryfel. Gan hyny fe alwodd y lliaws ynghyd, i oruwch-ystafell ehang, ac a osododd ei chwaer Bernice yn nhŷ yr Asmoneaid, fel y gwelid hi ganddynt hwy; (yr hwn dŷ ydoedd gyferbyn â'r ystafell, yn y dramwyfa i'r ddinas uchaf; ym mha le yr oedd y bont yn cyssylltu'r deml â'r ystafell; ac a lefarodd wrthynt fel y canlyn:—

* "Pe buaswn yn canfod eich bod oll yn tueddu i fyned i ryfel â'r Rhufeiniaid, ac nad oedd y rhan buraf a mwyaf ystyriol o'r bobl yn amcanu byw mewn heddwch, ni ddaethwn attoch, ac ni buaswn mor hŷ ag anturio rhoddi cyngor i chwi. Canys pob ymddiddanion yn tueddu i berswadio dynion i wneuthur yr hyn a ddylent ydynt anhycianus, pan fo'r gwrandawyr wedi ymroddi i wneud yn y gwrthwyneb. Ond gan fod rhai yn awyddus am fyned i ryfel, o herwydd eu bod yn ieuaingc, ac heb fod yn brofiadol o'r trueni y mae 'n ei ddwyn gyd ag ef: rhai yn ei chwennych oddi wrth ddisgwyliad afresymmol am ail-ynnill eu rhyddid: tra mae eraill yn gobeithio cael elw oddi wrtho, ac ydynt gan hynny â'u gogwydd arno; fel yn yr aunhrefu ar bethau y gallont gael meddiant o'r peth a berthyn i rai ag sy'n rhy egwan i'w gwrthwynebu; mi dybiais yn gymmwys eich casglu oll ynghyd, ac i fynegi 'r hyn a dybiaf a fydd er eich mantais chwi. Fel trwy hynny y byddo i'r rhai blaenorol dyfu yn ddoethach, a chyfnewid eu meddyliau; ac fel na bo' i'r rhai goreu ddyfod i ddim niweid. Ac na fydded i neb derfysgu yn fy erbyn, pe digwyddai i'r hyn a glywant eu hanfoddloni hwynt. Canys am y rhai na fynnant ddim gwelliant, ond a ydynt yn ymroddi i wrthryfel, bydd er hynny yn eu gallu i gadw yn eu meddwl yr un rhesymmau wedi i'm cyngor fyned trosodd. Ond etto fe syrth fy ymadrodd i'r llawr, ïe ymherthynas i'r rhai a chwennychent fy nghlywed, oddi eithr i chwi gadw distawrwydd. Yr ydwyf yn cydnabod yn dda fod llawer o fonllefain allan ymherthynas i'r niweid a wnaethpwyd trwy eich rhaglawiaid; ac mewn perthynas i'r manteision gogoneddus o ryddid. Ond cyn dechrau o honwyf â'r holiad, pwy ydych, y rhai sydd raid i chwi fyned i ryfel: a pha rai yn't hwy ag ydych i ryfela yn eu herbyn? Bydd i mi yn gyntaf wahaniaethu'r esgusodion a gyd-gyssylltir gan rai. Canys os amcanwch at ddial eich hunain ar y rhai a wnaeth niweid i chwi, paham y soniwch am hwn yn rhyfel i adferyd eich rhyddid? Ond os ydych yn golygu pob caeth-wasanaeth yn annioddefiadol, i ba ddiben y gwasanaetha eich achwyniad yn erbyn eich llywodrethwyr? Canys er ymddwyn o honynt yn gymhedrol tu ag attoch, byddai er hynny yn beth digyssur i fod tan gaethiwed. Ystyriwch yn awr yr amrywiol amgylchiadau a ganlyn, pa mor lleied o achosion sydd ynddynt i fyned i ryfel. Yr achlysur cyntaf yw 'r cyhuddiadau sydd gennych i'w gwneuthur yn erbyn eich rhaglawiaid. Yn awr eich dyled yw ymostwng i'r rhai sydd mewn awdurdod, a pheidio rhoddi iddynt achos i anfoddloni wrthych. Ond pan waradwyddoch ddynion yn fawr am ychydig gamwedd yr ydych yn annog y rhai a waradwyddwch i fod yn elynion i chwi. Canys ni wna hyn ond peri iddynt adael o'r neilldu eich dirgel niweidio, a difrodi yr hyn sydd gennych yn gyhoeddus. Yn awr nid oes dim a ddirymma nerth ergydion yn fwy, na'u dioddef yn amyneddgar. Ac ymlonyddiad y rhai a niweidir a dry ymaith y sawl a'u niweidio rhag eu trallodi mwyach. Ond cymmerwn yn ganiattaol fod y gweinyddwyr Rhufeinaidd yn eich drygu chwi, a'u bod yn annioddefol o lym tu ag attoch; etto nid y Rhufeiniaid oll ydynt hwy ag sydd y modd hwn yn eich cystuddio. Ac ni wnaeth Cæsar, yn

* Yn yr araith hon o eiddo'r brenin Agrippa, y mae gennym hanes awdurdodol am ehangder a chadernid yr ymerodraeth Rufeinaidd pan ddechreuodd y rhyfel Iuddewig. A'r araith hon, gyd ag amgylchiadau eraill yn Josephus, sydd yn dangos pa fath berson doeth ac enwog oedd yr Agrippa hwn. Yr un Agrippa ydyw a'r hwn a ddywedodd wrth Paul, "Yr wyt ti o fewn ychydig i'm hynnill i fod yn Gristion," Act. xxvi. 28. Ac am yr hwn y dywedodd St. Paul, "Ei fod yn gydnabyddus â'r holl ddefodau a'r holion ym mhlith yr Iuddewon," adn. 3. Gwelwch arwydd arall o derfynau yr un ymerodraeth Rufeinaidd, Hanes y Rhyf. III.5. Ond yr hyn sydd yma'n ymddangos i mi yn dra hynod yw, fod Josephus, mewn canlyniad i'r Groegiaid a'r Rhufeiniaid, er mwyn pa rai yn bennaf yr ysgrifenodd ei Hynafiaethau, yn fynych ei hun yn cyfansoddi'r areithiau a ddododd yngeneuau eraill; fel y dangosant, wrth odidowgrwydd y dywediad, a hediadau areithiol, nad gwir ymadroddion y personau perthynasol ydynt, y rhai yn arferol nid oeddynt areithwyr, ond o'i gyfansoddiad godidog ei hun. Ond yr araith o'n blaen sydd o natur arall; yn llawn o fatterion anesgusodol; wedi ei gosod allan mewn dull eglur a digelfydd, ond yn effeithiol a chynhyrfiol. Felly fe ymddengys mai araith brenin Agrippa ei hun ydyw; a darfod ei thraddodi i Josephus gan Agrippa ei hun, â'r hwn yr ydoedd mewn cyfeillgarwch mwyaf. Ac ni ddylem esgeuluso athrawiaeth wastadol Agrippa yma, fod yr ymerodraeth Rufeinaidd, ehang hon wedi cael ei chyfodi a'i chynnal trwy Ddwyfol Ragluniaeth; ac mai ofer oblegid hynny oedd i'r Iuddewon, neu neb eraill feddwl am ei difetha hi. Ac ni allwn esgeuluso cymmeryd sulw o appeliad difrifol Agrippa at yr angylion a arferir yma. Y cyffelyb appelion a arwyddir i ni gan St. Paul, 1 Tim. adn. 22. a chan yr Apostolion, yn y ffyrf o ordeinio Esgobion, Constit, Apost. VIII, 4.

erbyn yr hwn yr ydych yn myned i ryfel, gam â chwi. Nid yn ol eu gorchymmyn hwy y mae unrhyw lywodraethwr drwg yn cael ei anfon attoch. Canys y rhai sydd yn y gorllewin ni allant ganfod y rhai sydd yn y dwyrain; ac nid yw hawdd yn wir iddynt hwy yno glywed am y pethau a wneir yn y parthau hyn. Yn awr y mae'n ffolineb myned i ryfel â llawer, ar gyfrif un dyn: ac i wneuthur felly â phobl mor alluog ar achos bychan; a hyn pan na fedr y cyfryw bobl wybod beth yw eich achwynion. Yn awr y fath ddrygau ag ydym ni yn achwyn o'u herwydd a ellir eu diwygio yn fuan: canys ni phery yr un rhaglaw i'ch drygu fyth. Ac mae'n debygol y bydd i'w ddilynwyr ddyfod gyd â mwy o gymmedroldeb attoch. Ond am ryfel, wedi unwaith y dechreuo, nid yw hawdd ei ddodi i lawr drachefn, na'i ddioddef heb lawer o drallodion gyd ag ef. Pa fodd bynnag, am y dymuniad o adferyd eich rhyddid, mae'n afresymmol ei gynnwys mor ddiweddar; pan ddylasech lafurio am dano mewn amserau gynt, fel na chollasech mo'no, mwy. Canys y profiad cyntaf o gaethiwed ydoedd anhawdd ei oddef; a'ch ymdrech yn ei erbyn a fuasai gyfiawn. Ond y caethwas ag a ddygir unwaith i ymostyngiad, ac yna a ddiangc ymaith, sydd yn hytrach yn gaethwas anhydyn, nag yn garwr rhyddid; canys y pryd hynny yr oedd yn amser cymmwys i wneud yr hyn ag oedd bosibl i luddias dyfodiad neb o'r Rhufeinwyr i'ch dinas, pan ddaeth Pompey gyntaf i'r wlad. Ond felly y bu, ddarfod i'n hynafiaid, a'u brenhinoedd, y rhai oeddynt mewn llawer gwell amgylchiad na nyni, mewn perthynas i amlder eu harian, cryfdwr eu cyrph, gwroldeb eu hysprydoedd, na allasant ymgynnal tan ymosodiad cyntaf y Rhufeiniaid. Ac etto chwychwi, y rhai a ymgynnefinasoch eich hunain ag ufudd-dod iddynt o genhedlaeth i genhedlaeth; a'r rhai ydych gymmaint yn israddi'r rhai a ymostyngasant gyntaf, yn eich amgylchiadau, a anturiwch wrthwynebu yr holl ymerodraeth Rufeinaidd. Pan ddarfu i'r Atheniaid hynny, y rhai mewn trefn i achub rhyddid gwlad Groeg, osod eu dinas eu hunain ar dân; y rhai a erlidiasant Xerxes, y tywysog balch hwnnw, pan fordwyodd ar for, ac y rhodiodd ar dir; ac nid ellid ei gynnwys gan y moroedd, ond a arweiniodd y fath fyddin ag oedd ry ehang i Ewrop; ac a'i gyrrasant i ddiangc ymaith fel crwydryn mewn llong unigol, wedi dryllio rhan mor fawr o Asia wrth Salamis leiaf, ydynt er hynny y pryd hwn yn weision i'r Rhufeiniaid: a'r deddfau hynny a ddanfonir o'r Ital, ydynt wedi dyfod yn gyfreithiau i brif-ddinas lywodraethol Groeg. Y Lacedemoniaid hynny hefyd, y rhai a ynillasant y brwydrau mawrion yn Thermopylæ a Platea, ac a chanddynt Agesilaus yn frenin, wedi chwilio pob cwrr o Asia, ydynt yn boddloni i gydnabod yr un arglwyddi. Y Macedoniaid hefyd, y rhai sydd etto yn cyfrif pa fath ddynion mawrion ydoedd eu Philip a'u Halexander; ac yn honni ddarfod i'r diweddaf addaw iddynt ymerodraeth tros y byd; y rhai hyn a oddefasant y fath gyfnewidiad, ag y maent yn talu eu hufudd-dod i'r rhai y darfu ffortun eu dyrchafu yn eu lle. Ymhellach, deg mil o genedlaethau sydd, y rhai oedd â chanddynt fwy rheswm na nyni i gleimio eu cyflawn ryddid, ag sydd etto yn ymostwng. Chwychwi yw yr unig bobl ag sydd yn ei gyfrif yn ddirmyg i fod yn weision i'r rhai ag y mae'r byd wedi plygu iddynt.

"Pa ryw fath fyddin yr ydych yn hyderu arni? a pheth yw'r arfogaeth i'r hon yr ymddiriedwch? Pa le mae eich llynges a all oresgyn y moroedd Rhufeinaidd, a pha fan y mae'r trysorau hynny ag sydd ddigonol i'r ymdrech yr ydych am gymmeryd arnoch. A feddyliwch, attolwg, mai myned i ryfel yr ydych â'r Aiphtiaid neu â'r Arabiaid. Oni fydd i chwi yn ddifrifol ystyried yr holl ymerodraeth Rufeinaidd? Oni wnewch iawn gyfrif o'ch gwendid eich hunain? Oni ddarfu eich byddin yn fynych gael ei threchu gan y cenhedlaethau cymmydogol? pan y mae lluoedd y Rhufeiniaid yn anorchfygol ym mhob rhan o'r ddaear gyfanneddol. Ië, yn hytrach y maent yn edrych am ryw beth arall tu hwnt i hono. Canys nid yw holl Euphrates yn ddigon o derfyn ganddynt o du'r dwyrain, na'r Danube o du'r gogledd: ac am eu terfyn deheuol, Lybia a chwiliwyd trosodd ganddynt, cyn belled a gwledydd anuhrigiannol; megis y mae Cadiz yn derfyn iddynt yn y gorllewin. Ië yn wir hwy a geisiasant ddaear gyfanneddol arall tu hwnt i'r cefnfor; ac a gludasant eu harfau rhyfel cyn belled a'r cyfryw ynysoedd Brutanaidd ag oedd anadnabyddus o'r blaen. Beth

gan hynny a gymmerwch chwi arnoch? A ydych yn gyfoethoccach na'r Gauliaid? yn gryfach na'r Ellmyn? yn ddoethach na'r Groegiaid? yn fwy lliosog na holl ddynion y byd cyfannedd? Pa hyder yw hwnnw ag sy'n dyrchafu eich meddyliau i wrthwynebu y Rhufeiniaid? Ysgatfydd fe ddywedir mai peth caled yw dioddef caethiwed. Ië, ond pa faint calettach ydyw i'r Groegiaid, y rhai a gyfrifid yn bobl arddercheccaf tan haul? Y rhai hyn,er cyfanneddu o honynt wlad eang, ydynt yn ddarostyngedig i chwe rhwymyn o wialennau Rhufeinaidd. Yr un modd ydyw gyd â'r Macedoniaid, y rhai sydd ganddynt gyfiawnach rhesymmau i gleimio eu rhyddid nâ chwi. Beth yw cyflwr pum cant o ddinasoedd Asia? onid ydynt yn ymostwng i un llywodraethwr, ac i rwymyn gwialennau un prif-swyddog? Pa raid i'm lefaru am Heniochi, Cholci, a chenedl y Tauri, y rhai ydynt yn preswylio y Bosphorus; a'r cenhedlaethau ynghylch Pontus, a Meotis, y rhai gynt na wyddent am gymmaint ag arglwydd o'r eiddynt eu hunain; ond a ydynt yn awr yn ostyngedig i dair mil o arfogion: a'r lle y mae deugain o longau hirion yn cadw y môr mewn llonyddwch, yr hwn o'r blaen oedd yn anfordwyol, ac yn dra thymhestlog. Pa ddadl cryf a all Bythinia, a Cappadocia, a phobl Pamphylia; y Lysiaid, a'r Ciliciaid, ei wneud am eu rhyddid? Ond hwy a ymostyngant i dalu eu teyrnged heb eu cymmell gan un fyddin. Beth yw amgylchiad y Thrasiaid, gwlad pa rai mewn lledander sydd yn daith pum niwrnod, a mewn hyd yn saith: ac sydd hefyd yn llawer caethach ei llywodraeth, ac yn fwy ymddiffynnol, na'r eiddo chwi; ac wrth erwindod ei hoerfel sydd yn ddigon er cadw ymaith fyddinoedd rhag ymosod arni. Onid ydynt hwy yn ddarostyngedig i ddwy fil o wŷr y gwersylloedd Rhufeinig? Onid yw yr Illiriaid ag sy'n cyfanneddu 'r wlad gyssylltedig cyn belled â Dalmatia, a'r Danube, yn cael eu llywio yn unig gan ddwy o lengau; trwy'r hyn hefyd y maent yn gosod attalfa ar ruthriadau y Daciaid. Ac am y Dalmatiaid, y rhai a wnaethant y fath fynych derfysgoedd mewn trefn i ail-ennill eu rhyddid, a'r rhai o'r blaen nid ellid mor llwyr eu darostwng,ond eu bod yn wastad yn crynhoi eu byddinoedd ynghyd dracefn, ac yn gwrthryfela; etto y maent yn awr yn dra llonydd tan un lleng o Rufeiniaid. Ymhellach,pe byddai i ryw fantais fawr gynhyrfu rhai pobl i wrthryfel, gallai y Gauliaid ei wneuthur yn oreu o neb; am eu bod megis wedi murio oddi amgylch iddynt gan natur: ar du'r dwyrain gan fynyddoedd yr Alps; ar y gogledd gan afon y Rhine; ar y dehau gan fynyddoedd y Pyranees; a chan y cefnfor o du'r gorllewin. Yn awr er bod gan y Gauliaid hyn y fath rywstrau o'u hamgylch i ragflaenu ymosodiadau arnynt, ac heb ganddynt ddim llai na thri chant a phump o genedlaethau yn eu mysg; ïe sydd ganddynt fel y gall un ddywedyd, ffynhonau dedwyddwch teuluaidd yn eu meddiant eu hunain; ac yn anfon allan ffrydiau cyflawn o happusrwydd yn agos tros yr holl fyd. Y rhai hyn a oddefant roddi teyrnged i'r Rhufeiniaid, ac sydd â'u cyflwr llwyddiannus yn tarddu oddi wrthynthwy. Ac y maent yn ymostwng i hyn nid o herwydd gwangalondid a llwfrdra eu meddyliau, neu fod o wreiddyn aneuwog; y rhai a gynnaliasant ryfel tros bedwar ugain mlynedd, mewn trefn i gadw eu rhyddid; ond o herwydd y parch a'r derbyniad mawr sydd ganddynt i'r awdurdod Rufeinaidd, a llwyddiant ffortunus, yr hyn sydd o fwy effaith na'u harfau: y Gauliaid yma a gedwir tan eu gwasanaeth gan ddeuddeg cant o filwyr, y rhai yn brin ydynt gynnifer o rifedi a'u dinasoedd.

"Ac ni fu'r aur a gloddiwyd allan o fwyn-gloddiau Spaen yn ddigon i gynnal rhyfel er cadwedigaeth eu rhyddid; ac ni allai eu pellder mawr ar dir ac ar for ei wneuthur; ac ni fedrodd llwythau rhyfelgar y Lusitaniaid a'r Yspaeniaid ddiangc: dim mwy gan hynny ni allai'r cefnfor, gyd â'i ymchwydd, yr hwn oedd etto yn ofnadwy i'r hên drigolion. Ië, y Rhufeiniaid a estynasant eu harfau tu hwnt i golofnau Hercules, a rhodiasant ym mhlith y cymmylau ar fynyddoedd y Piranees, ac a ddarostyngasant y cenhedloedd hyn. Ac un lleng sydd ddigon o warchawdlu i'r bobl hyn, er eu bod mor anhawdd eu gorchfygu, ac mewn pellder mor fawr oddiwrth Rufain. Pwy sydd yn eich mysg a'r na chlywsant am amlder mawr yr Ellmyn neu Germaniaid? Gwelsoch eich hunain eu bod â chyrph o fawr gryfdwr; a'u bod yn fynych yn gwarchawd ar eu caethion gan y Rhufeinwyr ym mhob man. Etto yr Ellmyn hyn ag sydd yn preswylio

gwlad dra ehang; y rhai sydd â meddyliau ganddynt mwy na'u cyrph, ac yspryd yn dirmygu marwolaeth, a'r rhai yn eu cynddaredd ydynt yn erwinach na bwystfilod gwylltion, ac sydd â chanddynt afon fordwyol y Rhine yn derfyn i'w hanturiaethau; y rhai hyn a ddofir ag wyth lleng Rufeinaidd. Y cyfryw o honynt ag a gymmerwyd yn gaethion a ddaeth yn weision iddynt; a'r gweddillion o'r holl genedl a orfu iddynt achub eu hunain trwy ffoedigaeth. A ydych chwi hefyd yn hyderu ar furiau Jerusalem? ystyriwch pa fath furiau oedd gan y Brutaniaid. Canys y Rhufeiniaid a fordwyasant ymaith attynt hwy, ac a'u darostyngasant hwy, tra'r oeddynt wedi eu hamgylchu â'r cefnfor, ac yn preswylio ynys heb fod yn llai na chyfandir y ddaear gyfanneddol yma. A phedair lleng sydd ddigon o warchawdlu ar y fath ynys mor ehang. A pha ham y rhaid i mi ddywedyd llawer yn rhagor am y matter hwn? pan y mae'r Parthiaid, y corph o bobl fwyaf rhyfelgar, ac arglwyddi amryw genhedloedd, ac â chanddynt y fath luoedd nerthol o'u blaen, yn danfon eu gwŷr mwyaf yn wystlon i'r Rhufeiniaid. With yr hyn y gellwch ganfod, os gwelwch yn dda, ïe yn Itali, genedl ardderchoccaf y dwyrain, tan yr ystyriaeth o heddwch, yn ymostwng eu hunain i'w gwasanaethu hwynt. Yn awr pan y mae ynghylch yr holl bobl tan haul yn ymostwng i arfau y Rhufeiniaid, a fydd i chwi fod yr unig bobl a wnant ryfel yn eu herbyn? A hyn heb ystyried diwedd y Carthageniaid, y rhai ynghanol eu hymffrost o Hannibal fawr, a'u hardderchog darddiad o'r Phœniciaid, a gwympasant trwy law Scipio. Ac yn wir ni ddarfu i'r Cyreniaid, a darddodd o'r Lacedemoniaid; na'r Marmaridæ, cenedl ag sy'n cyrraedd cyn belled ag ardaloedd anghyfannedd o ddiffyg dwfr ynddynt: ac ni ddarfu i'r Syrtes, ag sy'n lle arswydus i'r rhai yn unig a glywant ddesgrifiad o hono; y Nasamoniaid, a'r Mooriaid, neu bobl dduon; nac aneirif liaws y Numidiaid, allu attal gwrolder Rhufeinig. Ac am y drydydd ran o'r ddaear gyfanneddol, * cenedlaethau pa un ydynt gynnifer a'r nas gellir yn hawdd eu cyfrif; a'r hon a derfynir â chefnfor yr Atlantic, a cholofnau Hercules; ac sydd yn cynnal lliaws aneirif o Ethiopiaid, cyn belled â'r Mor coch; y rhai hyn a ddarostyngwyd gan y Rhufeiniaid yn hollol. Ac heblaw blynyddol ffrwythau'r ddaear, ag sydd yn cynnal lliaws y Rhufeiniaid tros wyth o fisoedd, yn y flwyddyn, hyn sydd yn talu yn gyflawn, a thros hen, bob math o deyrnged, ac yn cynnwys moddion digonol gogyfer ag angenrheidiau'r llywodraeth. Ac nid ydynt hwy, megis chwi, yn cyfrif y fath reolau yn waradwydd iddynt: er nad oes ganddynt ond un lleng Rufeinaidd yn aros yn eu mysg. Ac yn wir pa achos sydd i ddangos i chwi awdurdod y Rhufeiniaid ar wledydd pellennig, pan y mae mor hawdd ei ddysgu oddiwrth yr Aipht, yn eich cymmydogaeth eich hun? Y wlad hon a gyrraedd mor bell a'r Ethiopiaid, ac Arabia ddedwydd, ac sydd yn terfynu ar India. Y mae iddi saith myrddiwn, a phum can mil o drigolion, heblaw preswylwyr Alexandria: fel y gellir gwybod oddiwrth deyrnged y pen-dreth. Etto nid yw gywilydd ganddi ymostyng i'r llywodraeth Rufeinig; er bod ganddi Alexandria megis yn demtiad mawr iddi i wrthryfel, oblegid ei bod mor llawn o drigolion ac o gyfoeth; ac sydd heblaw hynny yn dra ehang: ei hyd yn ddeg cafydd ar hugain, a'i lled heb fod yn llai na deg. Ac y mae'n talu mwy o deyrnged i'r Rhufeiniaid mewn un mis, nag yr ydych chwi mewn blwyddyn.Ië, heblaw a dâl yn arian, y mae 'n danfon ŷd i Rufain, ag sydd yn ei chynnal tros bedwar mis o'r flwyddyn. Y mae hefyd wedi ei murio o'i hamgylch ar bob tu; un ai trwy ddiffeithwch annhramwyol, néu foroedd heb borthladdoedd iddynt, nac afonydd neu lynnau. Etto ni chafwyd dim o'r pethau hyn yn rhy anhawdd i wrolder Rhufeinaidd. Pa fodd bynnag dwy o lengau, y rhai a orweddant yn y ddinas honno, ydynt ffrwyn i barthau pellaf yr Aipht, a'r parthau a breswylir gan y rhai mwyaf anrhydeddus o'r Macedoniaid. Pa le gan hynny y mae'r bobl ag sydd i'w cael yn gynnorthwyadon i chwi? A raid iddynt ddyfod o barthau'r byd ag sydd yn anhrigianol? Canys y rhai oll trwy'r ddaear gyfanneddol ydynt tan y Rhufeiniaid. Oddigerth i rai o honoch helaethu eu meddyliau cyn belled a thu hwnt i Euphrates; a meddwl fod i rai o'ch cenedl eich hun ag sydd yn trigo yn Adiabene, ddyfod yn gynnorthwy i chwi. Ond

* Affrica.

yn sicr ni ydd i'r rhai hynny ymddyrysu eu hunain â rhyfel anghyfiawn: neu, pe byddai iddynt ddilyn y fath ddrwg gyngor, ni adawai'r Parthiaid iddynt: canys eu gofal a ddylai fod i gadw eu cyngrair â'r Rhufeiniaid; ac fe fwrir eu bod yn ei dorri, os bydd i rai o'tan eu hawdurdod wneud ymgyrch yn eu herbyn. Yr hyn sy'n aros gan hynny ydyw, fod i chwi ymofyn dwyfol gymmorth. Ond hwnnw sydd eisoes o du y Rhufeiniaid. Oblegid y mae'n ammhosibl i'r fath ymerodraeth anfeidrol fod wedi ei sefydlu heb ragluniaeth Duw. Dwfn ystyriwch mor ammhosibl ydyw i'ch crefyddol ddefodau gael eu cadw i chwi, y rhai sydd anhawdd eu harfer wrth ymladd â rhai a fo'ch yn alluog i'w trechu. A pha fodd yn bennaf oll y gellwch obeithio am gymmorth Duw, pan, wrth wneuthur i chwi droseddu ei gyfraith, y bydd i chwi beri iddo droi ymaith ei wyneb oddi wrthych. Ac os cynheliwch ddefodau y dyddiau Sabboth, ac na pherswadir mo'noch i wneud un peth arnynt, chwychwi yn hawdd a gymmerir, megis y cymmerwyd eich tadau gan Pompey, yr hwn oedd * brysuraf yn dilyn y gwarchae ar y dyddiau hynny, pan oedd y gwarchaedig yn gorphwys. Ond os yn amser rhyfel yr ydych yn troseddu cyfreithiau eich gwlad, ni's medraf ddywedyd ar gyfrif pwy yr ewch i ryfel ar ol hynny. Canys nid yw eich gofal ond un; na wneloch ddim yn erbyn un o gyfreithiau eich tadau. A pha fodd y gellwch alw ar Dduw i'ch cynnorthwyo, pan ydych yn wirfoddol yn troseddu yn erbyn ei grefydd. Yn awr pob dynion ag sydd yn myned i ryfel a'i gwnant un a'i trwy ymddibynnu ar ddwyfol neu ddynol gymmorth. Ond eich gwaith chwi yn myned i ryfel a dyrr ymaith bob un o'r cynnorthwyadau hyn: a'r rhai sydd am fyned i ryfel, yn gyhoeddus a ddewisant eu dinystr. Beth a rwystra i chwi ladd eich plant a'ch gwragedd â'ch dwylaw eich hun; a llosgi eich dinas hynodol, a genedigol hon. Canys trwy 'r weithred wallgofus yma, fe fydd i chwi, pa fodd bynnag, ddiangc oddiwrth y gwradwydd o gael eich curo. Ond gwell fyddai, O fy nghyfeillion, gwell a fyddai, tra y mae'r llong etto yn yr hafn, i ragweled y dymmestl ddynesäol; a pheidio hwylio allan o'r porthladd i ganol y corwynt ystormus. Canys yr ydym yn arferol o dosturio wrth y cyfryw a syrthiant i flinderau mawrion heb fedru eu rhagweled: ond yr hwn a ruthra i ddinystr amlwg, sydd yn ynnill iddo ei hun waradwydd yn lle tosturi. O herwydd yn sicr ni ddychymmyga neb y gallwch fyned i ryfel megis trwy gyttundeb; neu pan gaffo y Rhufeiniaid chwi tan eu hawdurdod, y bydd iddynt arfer cymmedroldeb tu ag attoch: ond y bydd iddynt yn hytrach, er siampl i genhedloedd eraill, osod eich dinas gyssegredig ar dân, a llwyr ddifetha eich cenedl. A chynnifer o honoch ag a fyddo byw ar ol y rhyfel, ni allant wybod am le i ffoi iddo; gan fod eisoes bawb â'r Rhufeiniaid yn arglwyddi arnynt; neu ydynt yn ofni iddynt fod yn ol hyn. Nâg ê yn wir, ni pherthyna'r perygl i'r Iuddewon sy'n preswylio yma yn unig; ond rhai ag sydd yn aros mewn dinasoedd eraill hefyd. Canys nid oes bobl ar y ddaear drigiannol, nad oes rhyw ran o honoch chwi yn eu mysg: y rhai a leddir gan eu gelynion, os bydd i chwi fyned i ryfel: ac felly pob dinas sydd ag Iuddewon ynddi a lenwir â lladdfeydd ar gyfrif ychydig ddynion: a'r rhai a'u lladdant a faddeuir iddynt. Ond os na wneir y distryw hwnnw ganddynt, ystyriwch pa ddrwg o beth ydyw i chwi gymmeryd i fynu arfau yn erbyn rhai sydd mor garedig i chwi. Cymmerwch dosturi, gan hynny, os nid at eich gwragedd a'ch plant, etto tu ag at eich mamddinas hon, a'i muriau cyssegredig. Arbedwch y deml, a chedwch y tŷ sanctaidd, gyd â'i ddodrefn cyssegredig i chwi eich hunain. Canys os caiff y Rhufeiniaid chwi tan eu hawdurdod, ni fydd iddynt yn hwy ymarbed rhagddynt; wedi i'w harbediad o'r blaen gael ei gydnabod mor anniolchgar. Yr wyf yn galw yn dyst eich cyssegr, ac angylion sanctaidd Duw, a'r wlad gyffredinol hon i ni oll, nad attaliais un peth a fyddai er eich achubiad. Ac os dilynwch y cyngor a ddylech ei wneuthur, chwi feddiennwch y rhyddid hwnnw a fydd yn gyffredin i chwi ac i minneu. Ond os myned a wnewch yn ol tanbeidrwydd eich tymmer, chwi redwch i'r peryglon hynny y rhai y byddaf fi yn rhydd oddi wrthynt."

Wedi i Agrippa lefaru y modd hwn; efe, ynghyd â'i chwaer, a ŵylasant; ac wrth eu dagrau, a attaliasant lawer ar fyrbwylltra'r bobl;

* Hynaf. XIV. 4.

ond etto yr oeddynt yn llefain allan nad ymladdent hwy yn erbyn y Rhufeiniaid, ond yn erbyn Fflorus, ar gyfrif yr hyn a ddioddefasent trwy 'r moddion o hono ef. I'r hyn yr attebodd Agrippa, "Yr hyn a wnaethoch eisoes sydd debyg i ryfel yn erbyn y Rhufeiniaid. Canys ni thalasoch y * deyrnged ddyledus i Cæsar: ac chwi dorrasoch ymaith ystefyll-dai y deml, rhag cyssylltu â thŵr Antonia. Chwi ragflaenwch gan hynny yr achos o wrthryfel, os bydd i chwi ond cyssylltu y rhai hyn ynghyd drachefn, a thalu eich teyrnged. Canys nid yw y castellyn yn awr yn perthynu i Fflorus: ac nid ydych i dalu arian y deyrnged iddo ef."

## PENNOD. XVII.

*Am ddechreuad y rhyfel rhwng yr Iuddewon â'r Rhufeiniaid. Hefyd ymherthynas i Manahem.*

GWRANDAWODD y bobl ar y cyngor hwn, ac a aethant i fynu i'r deml, gyd â'r brenin, a Bernice, a hwy a ddechreuasant ail-adeiladu'r ystafelloedd; y rheolwyr hefyd a'r seneddwyr a wasgarasant eu hunain i fyned i'r pentrefydd, i wneuthur casgliad o deyrnged; ac yn fuan a gawsant ynghyd ddeugain o dalentau, yr hyn ydoedd y swm ag oedd yn ddiffygiol. Ac fel hyn y darfu i Agrippa y pryd hwnnw attal y rhyfel a fygythiwyd. Ymdrechodd i gynghori 'r lliaws i ufuddhau i Fflorus, nes i Cæsar ddanfon un i lywodraethu yn ei le ef. Ond hwy wrth hyn a gythruddwyd, ac a fwriasant waradwydd ar y brenin, gan ei anfon allan o'r ddinas. Na, rhai o'r terfysgwyr oedd mor ddigywilydd a thaflu cerrig atto. Felly pan welodd y brenin na ellid attal trais y rhai oedd am wrthryfela, a chan ei fod yn dra digllon oblegid yr ammharch a dderbyniodd; danfonodd eu llywodraethwyr, ynghyd â'r gwŷr o awdurdod, at Fflorus i Cæsarea, fel yr appwyntiai ef y rhai a feddyliai yn gymmwys i gasglu y deyrnged yn y wlad; tra'r aeth efe ymaith i'w deyrnas ei hun.

Ar yr amser hwn y rhai ag oedd fwyaf yn cyffroi'r bobl i fyned i ryfel, a ymosodasant ar ryw amddiffynfa, a elwid Massada. Hwy a'i cymmerasant trwy ddichell, ac a laddasant y Rhufeiniaid oedd ynddi, gan osod eraill o'u plaid eu hunain i'w chadw hi. Ar yr un pryd Eleazar, mab Ananias, yr archoffeiriad, gwr ieuangc o hyfdra mawr, oedd yr amser hwn yn olygwr ar y deml, a berswadiodd y rhai oedd yn gweini y dwyfol wasanaeth, i beidio derbyn neb rhyw rodd neu aberth gan ddieithriaid. A hyn oedd wir ddechreuad ein rhyfel â'r Rhufeiniaid. Canys hwy a wrthodasant aberth Cæsar ar y cyfrif hwn. Ac wedi i amryw o'r archoffeiriaid, a'r blaenoriaid ddeisyfu arnynt i beidio gwrthod yr aberth, yr hyn oeddid arferol o offrymmu tros eu tywysogion, ni ellid eu perswadio i hynny. Y rhai hyn a orphwysasant yn fawr ar eu lliosowgrwydd; canys y rhai mwyaf blodeuog o'r gwrthwynebwyr oedd yn eu cynnorthwyo hwynt: ond eu golwg mwyaf ydoedd ar Eleazar, golygwr y deml.

Ar hyn y gwŷr o awdurdod a gasglasant ynghyd, ac a ymgyngorasant â'r archoffeiriaid; megis y darfu hefyd y rhai pennaf o'r Phariseaid: a chan feddwl fod y cwbl ar ddiweddu, a'u blinderau yn dyfod yn anfeddyginiaethol, cydymgyngorasant â'u gilydd pa beth oedd oreu i'w wneuthur. Yn ganlynol, penderfynasant brofi beth a allent wneuthur â'r ymrysonwŷr trwy eiriau, ac a gynnullasant y bobl o flaen y porth prês, yr hwn oedd borth y deml nesaf i mewn ag sy'n edrych tu a chodiad haul. Ac yn y lle cyntaf hwy a ddangosasant anfoddlonrwydd mawr tu ag at y cynnygiad yr oeddid yn ei wneuthur i fyned i ryfel, a'u gwaith yn dwyn y fath flinder mawr ar y wlad. Yn ol hyn gwrthbrofasant eu hesgusodion megis eu bod yn anghyfiawn; ac a ddywedasant, fod "eu tadau wedi addurno eu teml, mewn rhan fawr, â rhoddion a gyfranwyd gan ddieithriaid: ac iddynt bob amser wneuthur derbyniad o'r anrhegion a wnaethpwyd iddynt gan genedlaethau tramor. A darfod iddynt fod mor bell oddiwrth wrthod aberth un person, (yr hyn a fyddai'n arwydd uchaf o annuwiaeth;) fel ag y darfu iddynt eu hunain osod i fynu goffadwriaethau o'r cyfraniadau hynny o amgylch y deml, y rhai oeddynt etto yn weledig, ac a safasent yno tros gyhyd o amser. Eu bod hwy yn awr yn cythruddo y Rhufeiniaid i gymmeryd i fynu arfau yn eu herbyn; ac yn dwyn i

* Julius Cæsar a orchymmynasai, fod i Iuddewon Jerusalem dalu teyrnged flynyddol i'r Rhufeiniaid; oddigerth dinas Joppa, a thros y flwyddyn Sabbothol: fel y sylwia Spanheim o'r Hynafiaethau, XIV.10.

fynu reolau newyddion o ddieithr ddwyfol addoliad: ac yn penderfynu rhedeg yr autur o beri i'r ddinas gael ei dirmygu megis lle anwireddus: pan na chaniattant i neb dieithriaid, ond Iuddewon yn unig i aberthu, neu addoli ynddi. A phe dygid y fath gyfraith i mewn yn achos un person yn unig, parai iddo fod yn ddig o'i herwydd, fel arwydd o annynoliaeth yn ei erbyn: tra'r oeddynt hwy heb ddim gofal ganddynt ymherthynas i'r Rhufeiniaid, nac i Cæsar; ac hyd yn oed yn gwahardd i'w hoffrymmau gael eu derbyn. Eithr eu bod hwy pa fodd bynnag yn ofni rhag trwy wrthod y modd hwn eu haberthau hwynt, na chaniatteid iddynt offrymmu yr eiddynt eu hunain: ac y collai eu dinas ei phendefigaeth, oddieithr iddynt ar frys dyfu yn ddoethach, ac adferyd yr aberthau megis cynt; ac yn wir diwygio'r niweid a wnaethent i ddieithriaid, cyn i'r sôn am dano ddyfod i glustiau y rhai a niweidiwyd."

Ac fel yr oeddynt yn adrodd y pethau hyn, dygasant ym mlaen yr offeiriaid hynny ag oedd yn gyfarwydd yn nefodau eu gwlad; y rhai a adroddasant, fod eu holl deidiau wedi derbyn eu haberthau gan genhedlaethau dieithr. Ond etto ni fynnai un o'r gwrthwynebwyr wrando ar yr hyn a ddywedwyd. Ië, y rhai oedd yn gweini o amgylch y deml ni arosasant gyd â'r gwasanaeth dwyfol, ond a oeddynt yn parottoi pethau tu ag at ddechrau y rhyfel. Felly y gwŷr o awdurdod yn canfod fod yr ymrysonwyr yn rhy galed iddynt i allu eu darostwng; ac y byddai y perygl a ddeuai arnynt oddiwrth i'r Rhufeiniaid eu gorddiwes hwy yn gyntaf o bawb, a ymdrechasant i achub eu hunain, trwy ddanfon cennadwyr at Fflorus, y pennaf o'r rhai ydoedd Simon, mab Ananias; ac eraill at Agrippa, ym mhlith pa rai y mwyaf enwog oedd Saul, ac Antipas, a Costobarus, y rhai oeddynt o garennydd y brenin. A hwy a ddeisyfasant arnynt bob un ddyfod â byddin i'r ddinas, a thorri ymaith yr ymryson cyn y byddo rŷ anhawdd ei ddarostwng. Yn awr y neges ofnadwy hwn oedd yn newydd da gan Fflorus; ac o herwydd mai ei ewyllys oedd cael rhyfel wedi ei ennyn, ni wnaeth un attebiad i'r cennadwyr; Ond Agrippa oedd yn cydradd ofidio tros y rhai a wrthryfelasant, a'r rhai yr oedd y rhyfel i gael ei wneuthur i'w herbyn: ac yr oedd efe yn ewyllysio cadw'r Iuddewon i'r Rhufeinwyr, a'r deml, a'r brif-ddinas i'r Iuddewon. Ystyriodd hefyd nad ydoedd er ei fantais ei hun i'r terfysg fyned ym mlaen. Felly fe ddanfonodd dair mil o wŷr meirch yn gynnorthwy i'r bobl, allan o Auranitis, Batanea, a Thraconitis, a'r rhai hyn tan Darius blaenor ei wŷr meirch, a Philip, mab Jacimus, cadflaenor ei fyddin.

Ar hyn y gwŷr mawrion, gyd â'r archoffeiriaid, megis y rhan hynny o'r lliaws hefyd ag oedd yn dymuno heddwch, a oresgynasant y ddinas uchaf; canys y rhan ymrysongar oedd â chanddynt y ddinas isaf, a'r deml tan eu hawdurdod. Felly gwnaethant ddefnydd o gerrig a ffyn-tafl yn wastadol y naill yn erbyn y llall; gan ergydio saethau yn barhaus ar bob tu. Ac weithiau fe ddigwyddai iddynt wneud rhuthriadau trwy luoedd, a'i hymladd allan lawlaw: pan oedd y terfysgwyr yn rhagori mewn gwrolder, ond milwyr y brenin mewn medr. Y rhai diweddaf hyn a ymdrechasant i ynnill y deml, a gyrru y rhai hynny allan ag oedd yn ei halogi hi, fel ag yr oedd y gwrthryfelwyr, gyd ag Eleazar o'u plaid, heblaw yr hyn oedd ganddynt eisoes, yn llafurio i ynnill y ddinas uchaf. Felly y bu lladdfeydd gwastadol ar bob ochr tros saith o ddyddiau: ond ni roddai un ochr i fynu y mannau a oresgynasent.

Yn awr y dydd nesaf ydoedd ŵyl y Xylophory, ar ba un y ddefod ydoedd i bawb ddwyn coed at dân yr allor, fel na byddai un amser ddiffyg defnyddiau i'r tân hwnnw oedd anniffoddadwy, ac i losgi bob amser. Ar y dydd hwn hwy a yrrasant y blaid wrthwynebol oddiwrth gyflawni y rhan hynny o grefydd. Ac wedi iddynt gyssylltu â hwy eu hunain amryw o'r Sicarii, y rhai a ddaethant i mewn yn dorfeydd ym mysg y bobl wannaf; (hwnnw oedd enw y fath yspeilwyr ag oedd â chanddynt arfau yn eu mynwesau a elwid Sicæ;) ac a aethant yn hyfach, a dygasant eu gorchwyl ymhellach: fel ag y darfu iddynt orchfygu milwyr y brenin, trwy eu lliosogrwydd a'u hyfdra: ac felly hwy a giliasant ymaith, ac a yrrwyd allan o'r ddinas uwchaf trwy orfod. Yna'r lleill a osodasant dŷ Ananias, yr archoffeiriad ar dân; ynghyd â phalasau Agrippa, a Bernice. Ar ol hyn dygasant y tân i drysordai yr hen

gofion; ac a wnaethant frys i losgi gweithredoedd o gyttundeb rhwng masnachwyr, ac wrth hynny rhyddhau eu hunain oddiwrth dalu eu dyledion: a hyn a wnaethpwyd mewn trefn i ynnill attynt liaws y rhai oeddynt yn ddyledwyr; ac fel y gallent berswadio y rhai tlottaf i uno â hwy yn eu terfysg, gyd â diogelwch rhag y rhai cyfoethog. Felly ceidwaid y cofion hynafiaethol a ffoisant ymaith, a'r lleill a'u dodasant ar dân. Ac wedi iddynt y modd hwn losgi i lawr gadernid y ddinas, hwy a syrthiasant ar eu gelynion. Ar ba amser rhai o'r gwŷr o awdurdod, a'r archoffeiriaid a aethant i selerau tan y ddaear; ac a ymguddiasant eu hunain; tra'r oedd y lleill yn ffoi gyd â milwyr y brenin i'r palas uchaf, gan gau y pyrth yn ebrwydd. Ym mysg y rhai diweddaf yr oedd Ananias, yr archoffeiriad, a'r cennadon a ddanfonasid at Agrippa. Ac yn awr y terfysgwyr a foddlonodd eu hunain ar y fuddugoliaeth a gawsent, a'r adeiladau a losgasent i lawr, ac nid aethant ymhellach.

Ond ar y dydd nesaf, yr hwn oedd y pymthegfed o'r mis Lous neu Ab, hwy a ymosodasant ar Antonia, gan warchae ar y gwersyllwyr oedd ynddo tros ddeuddydd; ac yna y cymmerasant y wersyllfa, gan ladd y rhai oedd ynddi, a gosod y tŵr ar dân. Ar ol hyn aethant at y palas, i ba le yr oedd milwyr y brenin wedi ffoi; a rhanasant eu hunain yn bedwar corph, ac a wnaethant ymosodiad ar y muriau: ymherthynas i'r rhai ag oedd ynddo, nid oedd calondid yn neb i ruthro allan, oblegid fod y rhai a ymosodasai arnynt mor lliosog: ond a ddosbarthasant eu hunain ar y blaen-furiau, a'r tŷrau bychain, ac a saethasant at y gwarchaewyr, trwy'r hyn y syrthiodd amryw o'r yspeilwyr tan y muriau: ac ni orphwysasant rhag ymladd â'u gilydd yn y nôs na'r dydd; pan dybiodd y terfysgwyr y diffygiai y rhai oddi mewn o eisiau lluniaeth; a hwythau a feddyliasant y blinai y gwŷr oddi faes trwy feithder y cynllwyn.

Yn y cyfamser un Manahem, mab Judas, a elwid y Galilead, yr hwn oedd dra chyfrwysgall, ac a waradwyddasai gynt yr Iuddewon tan Cyrenius; (mai yn nesaf at Dduw eu bod yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid;) a gymmerodd rai gwŷr cyfrifol gyd ag ef, ac a aeth ymaith i Masada; lle y torrodd yn agored arf-dŷ'r brenin Herod; ac a roddodd arfau nid yn unig i'w bobl ei hun, ond i yspeilwyr eraill hefyd. Y rhai hyn a wnaeth ddefnydd o honynt yn warchawdlu, ac a ddychwelodd mewn dull brenhinol i Jerusalem. Efe a ddaeth yn arweinydd i'r ymbleidwyr, ac a orchymmynodd barhau y cynllwyn: ond yr oedd diffyg offerynau arnynt cyfaddas i'r gorchwyl: ac nid oedd yn beth ymarferadwy i gloddio tan y mur, o herwydd disgyniad y saethau arnynt oddiar y nèn. Ond etto hwy a gloddiasant guddglawdd o hirbell tan un o'r tŷrau, ac a'i siglasant: ac wedi gwneuthur hynny gosodasant dân yn yr hyn a losgai ac a'i gadawsant; ac wedi i'r sylfaen losgi oddi tano, y tŵr a syrthiodd yn ddisymmwth. Etto cyfarfuant â mur arall a wnaethid oddi mewn: canys y rhai a warchaewyd arnynt a wyddent o'r blaen pa beth yr oeddynt yn ei wneuthur; ac ysgatfydd i'r tŵr grynu pan oeddid yn cloddio tano; felly hwy a barottoisant iddynt eu hunain amddiffynfa arall; yr hon yn annisgwyliadwy pan welodd y gwarchaewyr, wedi meddwl iddynt eisoes gymmeryd y lle, yr oeddynt tan fath o ddychryndod. Pa fodd bynnag y rhai ydoedd oddimewn a ddanfonasant at Manahem, a blaenoriaid eraill yr ymryson, gan ddymuno iddynt ar ammodau gael myned allan. Hyn a ganiattawyd i filwyr y brenin, a'u cydwladwyr eu hunain yn unig, y rhai a aethant allan yn ganlynol. Ond y Rhufeiniaid a adawyd yn unig a drallodwyd yn fawr: canys ni's gallent wneud eu ffordd trwy'r fath liaws; ac i ddymuno arnynt roddi eu deheulaw iddynt er eu diogelwch a dybiasant ei fod yn waradwydd; ac heblaw hynny, os gwnaent y cyffelyb â hwynt, ni allent hyderu arno. Felly hwy a adawsant eu gwersyllfa, yn hawdd ei chymmeryd, ac a redasant ymaith i'r brenhinol dŷrau, y rhai a elwid * Hippicus, Phasaelus, a Marianne. Ond Manahem a'i blaid a syrthiasant ar y lle, i'r hwn y ffoisai y milwyr, ac a laddasant gynnifer o honynt ag a ddaliasant, cyn iddynt fyned i fynu i'r tŷrau; gan yspeilio'r hyn a adawsant o'u hol; ac a osodasant y gwersyll ar dân. Hyn a wnaethpwyd ar y chweched dydd o'r mis Gorpieus neu Elul.

Ond ar y dydd nesaf yr archoffeiriad a ddal-

* Gwel Llyfr VI. pen. 4.

iwyd, lle'r ymguddiasai mewn dyfr-lle; ac efe a laddwyd gyd â'i frawd Hezeciah gan yr yspeilwyr. Wedi hyn y terfysgwyr a warchaeasant ar y tŷrau, y rhai a wyliwyd arnynt gan warchawdlu, rhag i neb o'r milwyr wneuthur diangfa. Yn awr dadymchweliad y lleoedd o gadernid, a marwolaeth yr archoffeiriad Ananias, a barodd i Manahem ymchwyddo yn y fath fodd ag y daeth yn dra chreulon. Ac fel y meddyliodd nad oedd ganddo un gwrthwynebwr i ddadleu trefniad yr achosion ag ef; nid ydoedd amgen na gormesmr annioddefol. Ond Eleazar a'i blaid, wedi i eiriau gael eu hadrodd rhyngddynt i'r effaith yma, "Nad ydoedd gymmwys, yn ol iddynt ymadael â'r Rhufeiniaid, oddi ar ddymuniad am ryddid, i fradychu y rhyddid hwnnw i neb o'u pobl eu hunain; ac i oddef arglwydd, yr hwn, er na fyddai yn enog o un trais, ydoedd etto yn waelach na hwynt: megis hefyd os byddent yn rhwymedig i osod rhyw un yn bennaeth ar eu hachosion cyffredin, fod yn gymhwysach iddynt roddi y rhagorfraint honno i ryw un arall nag ef:" hwy a wnaethant ruthr arno yn y deml. Canys efe a aethai yno i addoli mewn modd rhwysgfawr, ac wedi ei addurno â gwisg frenhinol; a'i ganlynwyr oedd gyd ag ef mewn arfogaeth. Ond Eleazar a'i blaid a syrthiasant yn chwyrn arno ef, megis hefyd y gwnaeth gweddill y bobl: a chan gymmeryd cerrig i fynu yn eu dwylaw, hwy a'u taflasant at y cyfrwys-wr; gan feddwl pe dinystrid ef, y syrthiai yr ymryson i'r llawr. Yn awr Manahem a'i blaid a wnaethant wrthwynebiad tros ennyd o amser: ond pan ganfuant fod yr holl liaws yn syrthio arnynt, hwy a ffoisant trwy ba ryw ffordd a fedrent. Y rhai a ddaliwyd o honynt a laddwyd; a'r rhai a ymguddiasent a chwiliwyd allan. Ychydig o honynt a ddiangodd yn ddirgel i Masada; ym mysg pa rai yr oedd Eleazar, fab Jairus, yr hwn oedd berthynas i Manahem, ac a weithredodd ran gormeswr yn Masada ar ol hynny. Am Manahem ei hun, efe a ffodd ymaith i'r lle a elwid Ophla; ac yno a arhosodd i lechu yn ddirgelaidd: ond hwy a'i cymmerasant yn fyw, ac a'i dygasant allan o'u blaen oll: yna hwy a'i poenasant ag amryw fath o arteithiau; ac ar ol y cwbl a'i lladdasant ef: megis y gwnaethant â'r rhai oedd gadbeniaid tano ef; ac yn enwedig Apsalom, offeryn pennaf ei orthrymder.

Ac, megis y dywedais, cyn belled a hynny y bobl a'u cynnorthwyasant; tra'r oeddynt yn gobeithio y byddai i hyn beri peth gwellhad ar eu hymarferiadau ymrysongar. Ond nid oedd brys yn y lleill i ddodi terfyn ar y rhyfel; ond a obeithiasant fyned ag ef ym mlaen gyd â llai o berygl, wedi lladd Manahem. Y mae'n wir, pan oedd y bobl yn taer-ddymuno ar iddynt roddi heibio warchae ar y milwyr, yr oeddynt hwythau yn daerach am ei yrru ym mlaen: a hynny nes i Metilius, y cad-flaenor Rhufeinig, anfon at Eleazar, a dymuno iddynt roddi sicrwydd am arbediad eu bywydau; ond a gyttunasant i draddodi iddynt eu harfau, a pha ryw bethau eraill oedd gyd â hwynt. Y lleill yn barodol a gyttunasant â'u deisyfiad; ac a ddanfonasant attynt Gorion, mab Nicodemus; Ananias, mab Sadduc; a Judas, fab Jonathan; fel y rhoddent iddynt sicrwydd eu deheulaw, a'u llwon. Ar ol hyn Metilius a ddygodd i wared ei filwyr. Pa ryw filwyr, tra'r oeddynt tan arfau, ni chyffyrddid â hwynt gan neb o'r ymbleidwyr; ac nid oedd dim dangosiad o fradwriaeth. Ond, yr ol y cyttundeb oedd rhyngddynt, mor gynted ag y darfu iddynt ddodi i lawr eu tariannau a'u cleddyfau, ac heb feddwl am niweid ymhellach, a chan fyned ymaith, gwŷr Eleazar a'u goddiweddodd hwynt mewn dull treisgar; ac wedi iddynt eu hamgylchu, hwy a'u lladdasant, a hwythau heb amddiffyn eu hunain, nac erfyn am drugaredd; ond yn unig llefasant allan ynghylch torriad eu hammodau, a'u llwon iddynt. Ac fel hyn yn farbaraidd y llofruddiwyd yr holl ddynion hynny, oddigerth Metilius. Canys pan ofynodd efe am drugaredd, ac addaw troi yn Iuddew, a chymmeryd ei enwaedu, gadawsant ef yn fyw, ac nid un arall. Nid oedd hon ond colled ysgafn i'r Rhufeiniaid; gan na laddwyd ond ychydig nifer allan o fyddin aneirif: ond etto fe ymddangosodd yn rhag-arwydd o ddinystr yr Iuddewon: pan wnaeth dynion alar cyhoeddus, wrth iddynt weled y fath achlysuron wedi ei roddi i ryfel, na ellid ei hepgor na'i ddiwygio: fod y ddinas i gyd trosti wedi ei halogi â'r fath ffieidd-dra, a'r nad oedd ond rhesymmol i ddisgwyl rhyw ddialedd dwyfol, pe diangasent oddiwrth ymddial y Rhufeiniaid. Felly yr oedd y ddinas wedi ei llenwi o dristwch,

a phob rhai o'r gwŷr cymmedrol o'i mewn oeddynt tan aflonyddwch mawr o ran eu meddyliau, megis yn debyg o orfod myned eu hunain tan gospedigaeth, am ddrygioni y rhai ymrysongar. Canys fe ddigwyddodd fod i'r llofruddiad hwn gael ei wneuthur ar y dydd Sabboth: ar ba ddiwrnod y mae i'r Iuddewon orphwys oddi wrth eu llafur, ar gyfrif y gwasanaeth dwyfol.

## PENNOD XVIII.

*Am y trallodion a'r lladdfeydd a ddaeth ar yr Iuddewon.*

YN awr pobl Cæsarea a laddasant yr Iuddewon oedd yn eu mysg hwynt ar yr un dydd ac awr ag y lladdwyd y milwyr: yr hyn a allai un feddwl oedd raid ei ddyfod o amgylch trwy drefniad rhagluniaeth: yn gymmaint, mewn un awr o amser, ag i ugain mil o'r Iuddewon gael eu lladd: a holl Cæsarea a arllwyswyd o'i phreswylwyr Iuddewig. Canys Fflorus a ddaliodd y rhai a redasant ymaith, ac a'u danfonodd i'r rhwyf-longau. At y tarawiad hwn a gafodd yr Iuddewon yn Cæsarea, yr holl genedl a gynddeiriogwyd yn fawr. Felly hwy a ranasant eu hunain yn amryw finteioedd, ac a ddifrodasant bentrefydd y Syriaid, a'u dinasoedd cymmydogaethol, Philadelphia, Sebonitis, Geraza, Pelle, a Scythopolis; ac ar eu hol hwynt Gadar, a Hippos; a chan syrthio ar Gaulanitis, hwy a ddistrywiasant rai dinasoedd yno, ac a osodasant eraill ar dân: ac yna'r aethant i Kedasa ag oedd yn perthyn i'r Tyriaid, ac i Ptolemais, ac i Gaba, a Cæsarea. Ac nid oedd Sebaste ac Ascelon yn abl i wrthsefyll y trais â'r hwn y goddiweddwyd hwynt. Ac wedi iddynt losgi y rhai hyn hyd y llawr, hwy a lwyr ddifrodasant Anthedon a Gaza. Llawer hefyd o'r pentrefi oedd o amgylch pob un o'r dinasoedd hyn a yspeiliwyd â lladdfeydd diderfyn a wnaethpwyd o'r trigolion a ddaliwyd ynddynt.

Y Syriaid, pa fodd bynnag, oeddynt gyd-raddol â'r Iuddewon yn rhifedi'r dynion a laddasant. Canys hwythau a laddasant y rhai a ddaliwyd yn eu dinasoedd; a hynny nid yn unig oddiar y casineb a ddygysant tu ag attynt, megis cynt; ond i ragflaenu'r perygl yr oeddynt ynddo oddiwrthynt. Felly'r oedd yr annhrefn trwy holl Syria yn arswydus iawn: a phob dinas wedi ei rhannu yn ddwy fyddin, ac yn gwersyllu y naill yn erbyn y llall; ac achubiad un blaid oedd yn ddistryw i'r llall. Felly y dydd a dreulient yn nhywalltiad gwaed eu gilydd, a'r nos mewn ofn: yr hyn o'r ddau oedd fwyaf poenedig. Canys pan feddyliai'r Syriaid eu bod wedi difetha'r Iuddewon, yr oeddynt er hynny tan ofnau o niweid oddi wrthynt. Ac fel nad oedd pob ochr yn gofalu ynghylch lladd y rhai yn unig a ddrwg-dybient, felly yr oeddynt yn eu mawr ofni, pan fyddent wedi ymgymmysgu â'r lleill, fel pe buasent ddieithriaid yn sicr. Chwant awyddus i eiddo ydoedd hefyd yn eu gyrru i ladd y blaid wrthwynebol; hyd yn oed y rhai a ymddangosodd o'r blaen yn dyner ac yn rhywiogaidd tu ag attynt. Canys hwy heb ofn a gymmerent ymaith feddiannau y rhai lladdedig, ac a'u dygent ymaith yn yspail i'w tŷau eu hunain, fel pe buasent wedi eu hynnill trwy frwydr gyhoeddus. Ac efe a gyfrifid yn fwyaf anrhydeddus a feddiannai fwyaf o yspail, megis un wedi gorchfygu y nifer fwyaf o elynion. Peth cyffredin y pryd hwn oedd gweled dinasoedd wedi eu llenwi â chyrph meirwon heb eu claddu; y rhai oedrannus yn gymmysgiedig â mabanod; y cwbl yn feirw ac yn gyd-wasgaredig o amgylch. Merched hefyd a orweddodd yn eu mysg heb un gorchgudd trostynt. Yr holl dalaith ydoedd yn wir yn gymmysg o fiinderau anrhaethadwy tra'r oedd ofn arnynt etto rhag ymarferiadau mwy creulon, y rhai a fygythid ym mhob lle.

Cyn belled a hyn y tyfodd yr ymryson rhwng yr Iuddewon â dieithriaid eraill. Ond pan wnaethant ymosodiad ar Scythopolis, cawsant Iuddewon yno yn ymddwyn megis gelynion. Canys pan oeddynt yn sefyll i ymladd â gwŷr Scythopolis, ac yn gwneuthur dewisiad o'u diogelwch eu hunain yn hytrach na'u perthynas iddynt, ymladdasant yn erbyn eu cydwladwyr. Ië, eu cyflymdra ydoedd mor fawr, fel yr oedd y rhai o Scythopolis yn eu harswydo hwynt. Ofnasant hefyd rhag iddynt wneud rhuthr ar y ddinas yn y nôs; ac, er eu mawr fiinder, a ddylent wneud amddiffyniad trostynt eu hunain at eu pobl, a'r fod iddynt ymwrthod â hwynt. Felly gorchymmynasant iddynt, os cadarnhaent eu cyttundeb, ac amlygu eu ffyddlondeb tu ag attynt hwy, ag oedd o wahanol genedl, ar fod iddynt fyned allan o'r ddinas i lwyn cymmydogol, gyd â'u teuluoedd. Ac wedi iddynt

wneuthur fel y gorchymmynwyd iddynt, heb ddrwg dybio un peth, pobl Scythopolis a arosasant yn llonydd tros yspaid dau ddiwrnod, i'w hudo i ddiofalwch. Ond ar y drydedd nôs, gwyliasant am eu cyfleustra, ac a dorrasant wythi eu gwaed hwy oll: rhai heb fod ar wyliadwriaeth, ac eraill fel yr oeddynt yn gorwedd yn eu cwsg. Y nifer fel hyn a laddwyd ydoedd uwchlaw tair mil ar ddeg: ac yna hwy a'u hyspeiliasant o'r hyn oll oedd ganddynt.

Haeddai yn awr ei adrodd gennym yr hyn a ddigwyddodd i Simon; mab ydoedd efe i un Saul, gŵr cyfrifol ym mysg yr Iuddewon. Y dyn hwn a wahaniaethwyd oddiwrth eraill am gryfdwr ei gorph, a hyfdra ei ymddygiad; er iddo gamarfer pob un er niweid i'w gydwladwyr. Canys efe a ddaeth yn feunyddiol, ac a laddodd amryw o Iuddewon Scythopolis, ac yn fynych a'u dododd i ffoi; ac a ddaeth ei hun yn unig yn achos o fuddugoliaeth ei fyddin. Ond cospedigaeth gyfiawn a'i goddiweddodd am y llofruddiad a wnaethai ym mysg y rhai o'i gydwladwyr ei hun. Canys fel ag yr oedd pobl Scythopolis yn ergydio eu saethau attynt yn y llwyn, efe a dynnodd ei gleddyf, ond nid i ymosod ar neb o'r gelynion: canys fe welodd na allai wneuthur dim yn erbyn y fath liaws. Ond efe a lefodd allan mewn modd tra chynhyrfiol, ac a ddywedodd, "O chwychwi bobl Scythopolis, yr wyf yn haeddianol yn dioddef am yr hyn a wnaethum mewn perthynas i chwi, wedi rhoddi y fath sicrwydd o'm ffyddlondeb, trwy ladd cynnifer o'r rhai a berthynent i mi. Am hynny yr ydym yn dra chyfiawn yn cael prawf o anffyddlondeb dieithriaid; wedi gwneuthur mor anghyfiawn a'n cenedl ein hunain. Myfi gan hynny a fyddaf farw, yn ddyn halogedig fel yr wyf, trwy fy nwylaw fy hun: canys nid cymmwys i mi farw trwy ddwylaw ein gelynion. A bydded yr un weithred yn gospedigaeth i mi am fy nrwg-weithredoedd mawrion, ac yn dystiolaeth o'm gwrolder er cymmeradwyaeth i mi: fel na b'o trwy hynny gan neb o'n gelynion le i ymffrostio ddarfod iddynt fy lladd: na neb fy nirmygu ar fy nghwymp." Yn awr pan ddywedodd hyn, fe edrychodd o amgylch ar ei dylwyth gyd â golwg o dosturi a chynddaredd. Y teulu hwnnw oedd yn gynnwysedig o wraig, plant, a'i rieni oedranus. Felly yn y lle cyntaf fe ymaflodd gerfydd ei wallt llwydlas yn ei dad, ac a redodd ei gleddyf trwyddo: ac ar ei ol ef fe wnaeth y cyffelyb â'i wraig a'i blant; a phob un megis yn ymgynnyg ei hun i'w gleddyf ef, gan ewyllysio rhagflaenu cael eu lladd gan eu gelynion. Felly wedi myned tros ei holl deulu, fe safodd ar eu cyrph fel y gwelid ef gan bawb; a chan estyn allan ei ddeheulaw yn weledig i bob rhai, brathodd i mewn ei gleddyf i'w ymysgaroedd ei hun. Y dyn ieuangc hwn ydoedd i'w resynu ar gyfrif grymmusder ei gorph, a gwrolder ei feddwl: ond gan iddo sicrhau i ddieithriaid ei ffyddlondeb yn erbyn ei gyd-wladwyr ei hun, fe ddioddefodd yn haeddiannol.

Heblaw y mwrddrad hwn yn Scythopolis, y dinasoedd eraill a godasant yn erbyn yr Iuddewon oedd yn eu mysg. Y rhai hynny o Ascelon a laddasant ddwy fil a phum cant; a'r rhai o Ptolemais ddwy fil; gan ddodi nid ychydig mewn rhwymau. Gwŷr Tyre hefyd a roddasant lawer i farwolaeth; ond a gadwasant rifedi mwy mewn carcharau. Ymhellach, trigolion Hippo a wnaethant yn gyffelyb: pan y rhoddasant i farwolaeth y rhai hyfaf o'r Iuddewon; ond a gadwasant y rhai ag oeddynt yn eu hofni mewn rhwymau. Megis y darfu i weddill dinasoedd Syria, yn ol y casineb oedd gan bob rhai tu ag attynt, neu eu harswyd o honynt. Yn unig yr Antiociaid, y Sidoniaid, a'r Apamiaid a arbedasant y rhai oedd yn trigo gyd â hwynt: ac ni oddefent ladd neb o'r Iuddewon oedd yn eu mysg, na'u dodi mewn rhwymau. Ac ysgatfydd iddynt eu harbed am fod eu nifer eu hunain mor fawr, fel yr oeddynt yn dirmygu y cynnygiadau a allent wneuthur i'w herbyn. Ond yr wyf yn meddwl mai y rhan fwyaf o'r ffafr yma iddynt ydoedd o herwydd eu tosturi at rai nad oeddynt am wneuthur dim terfysg. Am y Geraseniaid, ni wnaethant hwy ddim niweid i'r rhai oedd yn aros yn eu plith hwynt: ac am y rhai a ewyllysient ymadael, hwy a'u hebryngasant cyn belled ag y cyrhaeddai eu terfynau.

Gosodwyd bradwriaeth hefyd yn erbyn yr Iuddewon yn nheyrnas Agrippa: canys yr ydoedd efe ei hun wedi myned at Cestius Gallus i Antioch; ond a adawsai ofal yr achos cyffredin i un o'i gymdeithion, a elwid Nostus, yr hwn

oedd berthynas i'r brenin * Sohemus. Yn awr fe ddaeth deg dyn a thrugain allan o Batanea, y rhai oeddynt fwyaf cyfrifol o ran eu tylwyth, a'u callineb o neb eraill o'r bobl. Y rhai hyn a ddymunasant gael byddin o wŷr wedi eu dodi tan eu gofal hwynt: fel os digwyddai dim terfysg, y byddai ganddynt warchawdlu digonol i wrthsefyll y rhai a allai gyfodi i'w herbyn. Ond Noarus a ddanfonodd allan rai o wŷr arfog y brenin yn y nos, ac a laddodd yr holl bobl hyn: yr hon weithred greulon a anturiodd arni heb gydsyniad Agrippa: ac yr oedd efe yn fath garwr arian ag y dewisodd arfer y cyfryw ddichell tu ag at ei wladychwyr ei hun, er iddo ddwyn dinystr ar y deyrnas trwy hynny. Ac felly y gwnaeth greulondeb mawr â'r genedl honno, a hynny yn wrthwyneb i'r cyfreithiau hefyd, nes i Agrippa gael hyspysrwydd o hono: yr hwn yn wir ni feiddiodd ei roddi i farwolaeth oddiar barch i Sohemus: ond etto rhoddodd derfyn ar ei raglawiaeth yn ddioed. Ond am y rhai terfysglyd, hwy a gymmerasant y tŵr a elwid Cypros, ag ydoedd uwchlaw Jericho, ac a dorrasant wythi gwaed y gwersyllwyr, gan lwyr ddadymchwel yr amddiffynfeydd. Hyn a fu ynghylch yr un amser ag y darfu i liaws yr Iuddewon oedd ym Macherus, berswadio y Rhufeiniaid, ag oedd mewn amddiffynfa, i adael y lle, a'i roddi i fynu iddynt hwy. Y Rhufeiniaid hyn yn ofni rhag cymmeryd y lle trwy drais, a wnaethant gyttundeb â hwynt i ymadael, ar ryw ammodau pendant. Ac wedi iddynt feddiannu'r sicrwydd a ddymunasant, hwy a roddasant i fynu y tŵr: ym mha un y dododd pobl Macherus wersyll er eu diogelwch eu hunain; ac a'i cadwasant yn eu meddiant.

Ond am Alexandria, ymryson pobl y lle yn erbyn yr Iuddewon ydoedd yn barhaus; a hynny er yr amser ag y darfu i Alexander Fawr, wrth weled parodrwydd yr Iuddewon i'w gynnorthwyo ef yn erbyn yr Aiphtiaid, ac fel gwobr am eu ffyddlondeb, ganiattâu rhagorfreintiau iddynt yn gydradd â'r Groegiaid. Y wobr anrhydeddus yma a barhaodd yn eu mysg o'tan ei ddilynwyr: y rhai hefyd a drefnasant iddynt le neillduedig, fel y gallent fyw heb eu halogi gan y cenhedloedd: a thrwy hynny nid oeddynt wedi eu cyd-gymmysgu â dieithriaid fel o'r blaen. Caniattasant iddynt hefyd y rhagorfraint pellach o gael eu galw yn Macedoniaid. Na, pan gafodd y Rhufeiniaid feddiant o'r Aipht, ni ddarfu i'r Cæsar cyntaf, na neb a ddaeth ar ei ol, feddwl diddymmu'r anrhydedd a ganiattasai Alexander i'r Iuddewon. Ond etto ymryson a gyfodai yn barhaus rhyngddynt â'r Groegiaid: ac er cospi o'r llywodraethwyr amryw o honynt yn feunyddiol, etto fe dyfai yr ymryson yn waeth. Ond ar yr amser hwn yn enwedig, pan ydoedd terfysgoedd mewn lleoedd eraill hefyd, yr annhrefn yn eu mysg a enynnodd yn fwy. Canys wedi i'r Alexandriaid gael unwaith dyrfa gyhoeddus ynghyd, i ynghylch cennadwriaeth at Nero, rhifedi mawr o Iuddewon a ddaethant i mewn i'r ymgynghorfa. Ond pan welodd eu gelynion hwynt, hwy yn ebrwydd a waeddasant allan, ac a'u galwasant eu gelynion; gan ddywedyd eu dyfod yno fel yspiwyr. Ar yr hyn y rhuthrasant allan, ac y syrthiasant arnynt: ac am y lleill hwy a laddwyd fel yr oeddynt yn ffoi ymaith. Ond yr oedd tri o ddynion y rhai a ddaliasant, ac a'u llusgasant ym mlaen mewn trefn i gael eu llosgi yn fyw. Ond yr holl Iuddewon a ddaethant yn un corph i'w hachub hwynt: y rhai ar y cyntaf a ergydiasant gerrig at y Groegiaid: ond ar ol hynny cymmerasant lampau, ac a ruthrasant gyd â thrais i'r cyngor-dŷ, gan fygwth ei ddodi ar dân, a llosgi pob un oedd ynddo. A hyn a wnaethent yn fuan, pe na buasai i Tiberius Alexander, llywodraethwr y ddinas, eu rhwystro hwynt. Pa fodd bynnag ni chymmerodd y gwr hwn y ffordd o ddysgu doethineb iddynt trwy arfau; ond a ddanfonodd i'w plith yn ddirgel rai o'r gwŷr pennaf, a thrwy hynny a erfyniodd arnynt ymlonyddu a pheidio cythruddo y fyddin Rufeinig i ddyfod yn eu herbyn. Ond y terfysgwyr a gablasant erfynian Tiberius, ac a'i gwatworasant o'u herwydd.

Yn awr pan welodd na fynnai y rhai ymrysongar eu heddychu, nes eu goddiweddu â rhyw fawr drallodion; efe a ddanfonodd allan ar eu gwarthaf ddwy o lengau Rhufeinig oedd yn y ddinas; a chyd â hwynt bum mil o filwyr eraill, y rhai, ar ddamwain, a ddaethent yno o Lybia, er distryw i'r Iuddewon. Dioddefwyd

* Am y Sohemus hwn, y mae crybwylliad gennym o'r eiddo Tacitus. Yr ydym hefyd yn dysgu oddiwrth Dio, fod ei dad yn frenin yr Arabiaid o Iturea: (yr hon Iturea a grybwyllir gan St. Luc iii. 1.) tystiolaethau pa rai a goffeir yma gan Dr. Hudson.

iddynt yn unig eu lladd, ond ysglyfaethu yr hyn oedd ganddynt, a gosod eu tŷau ar dân. Y milwyr hyn a ruthrasant gyd â thrais i'r rhan hynny o'r ddinas a elwid Delta, lle yr oedd pobl yr Iuddewon yn cyd-breswylio, ac a wnaethant fel y gorchymmynwyd iddynt; er nad heb dywallitiad gwaed ar eu tu eu hunain. Canys yr Iuddewon a grynhoisant ynghyd, ac a osodasant y rhai a arfogwyd oreu i wynebu'r gelynion, gan eu gwrthsefyll dros amser hir. Ond pan unwaith y ciliasant yn ol, hwy a ddifethwyd yn ddi-drugaredd: a'u dinystr ydoedd yn llwyr; rhai a ddaliwyd yn y meusydd, ac eraill wedi ymwthio i mewn i'w tŷau: pa ryw dŷau yn gyntaf a yspeiliwyd o'r hyn oedd ynddynt, ac yna a osodwyd ar dân gan y Rhufeiniaid. Ymha rai ni ddangosid dim trugaredd i'r mabanod, na dim parch i'r rhai oedrannus: ond hwy a aethant ymlaen i wneuthur lladdfa o bersonau o bob oedran, nes oedd yr holl fan yn llifeirio gan waed; a deng mil a deugain o honynt a orweddodd yn bentyrau, ac yn gelaneddau meirwon. Ac ni chadwasid gweddil o honynt pe na throasent i ymbilio. Felly Alexander a dosturiodd wrth eu cyflwr, ac a orchymmynodd i'r Rhufeiniaid fyned ymaith. Yn ganlynol y rhai hyn yn arferol o ufuddhau i'w blaenoriaid, a adawsant heibio ladd ar yr arwydd cyntaf. Ond gwerin Alexandria oedd yn dwyn y fath gasineb at yr Iuddewon, fel yr oedd yn anhawdd eu galw yn ol; a gwaith caled ydoedd gwneuthur iddynt adael eu cyrph meirwon.

A dyma'r galanastra truenus a wnaethpwyd ar yr Iuddewon yr amser hwn yn Alexandria. Ar hyn Cestius a feddyliodd nad oedd gymmwys iddo yn hwy aros yn llonydd, pan oedd yr Iuddewon ymhob man tan arfau. Felly fe gymmerodd allan o Antioch y ddeuddegfed lleng; ac allan o bob un o'r rhai oedd yngweddill fe ddetholodd ddwy fil; gyd â chwe' mintai o wŷr traed, a phedwar llu o wŷr meirch, heblaw y cynnorthwyadon a ddanfonwyd gan frenhinoedd. O ba rai *Antiochus a ddanfonodd ddwy fil o wŷr traed; gyd â chynnifer o saethyddion. Ac Agrippa a ddanfonodd yr un nifer o wŷr traed, a mil o wŷr meirch. Sohemus hefyd a ganlynodd gyd â phedair mil, y drydedd ran o ba rai oedd wŷr meirch, ond y rhan fwyaf yn saethyddion. Ac fel hyn yr ymgyrchodd i Ptolemais. Yr ydoedd hefyd nifer fawr o gynnorthwyadon wedi eu cynnull ynghyd o'r dinasoedd rhyddion: y rhai yn wir nid oeddynt o'r un medrusrwydd mewn matterion rhyfel: ond fe a wnaed i fynu yn eu cyflymdra, ac yn eu casineb at yr Iuddewon yr hyn oedd ddiffygiol arnynt mewn medr. Daeth hefyd gyd â Cestius Agrippa ei hun; yn gystal fel arweinydd iddo yn ei gyrchfa trwy'r wlad, a chyfarwyddwr yn yr hyn a fyddai gymmwys ei wneuthur. Felly Cestius a gymmerodd ran o'i luoedd, ac a wnaeth frys i fyned i Zabulon, dinas gadarn yn Galilea, pa un a elwid yn ddinas y gwŷr; ac sydd yn terfynu gwlad Ptolemais oddiwrth ein cenedl ni. Y lle hwn a gafodd wedi ei adael gan y trigolion, a'r lliaws wedi ffoi i'r mynyddoedd; ond yr ydoedd yn llawn o bob math o bethau daionus. Y rhai hyn a ganiattaodd i'r milwyr eu hysglyfaethu, ac i osod y ddinas ar dân; er ei bod o harddwch tra dymunol, a'r tŷau wedi eu hadeiladu yn debyg i'r rhai hynny yn Tyrus, Sidon, a Berytus. Ar ol hyn fe oresgynnodd yr holl wlad, a chymmerodd feddiant o ba beth bynnag a ddeuai yn ei ffordd, gan osod y pertrefydd o amgylch ar dân, a dychwelyd yn ol hynny i Ptolemais. Ond pan oedd y Syriaid, yn enwedig y rhai o Berytus, yn prysur ysglyfaethu, yr Iuddewon a adnewyddodd eu cefnogrwydd; canys hwy a wyddent fod Cestius wedi myned ymaith; a hwy a syrthiasant ar y rhai a adawsid yn ol yn annisgwyliadwy, ac a ddifethasant ynghylch dwy fil o honynt.

Yn awr Cestius ei hun a adawodd Ptolemais, ac a ddaeth i Cæsarea. Ond fe ddanfonodd ran o'i fyddin o'r blaen i Joppa: ac a roddodd orchymmyn, os gallent gymmeryd y ddinas honno yn ddisymmwth, ar iddynt gadw meddiant o honi: ond os canfyddai 'r dinasyddion eu bod yn dyfod i'w gorddiwes, yna fod iddynt aros am dano ef, ac am y gweddill o'r fyddin. Felly rhai o honynt a wnaethant ymgyrch cyflym gyd â glàn y mor, a'r lleill ar hyd y tir: ac felly trwy ddyfod ar eu gwarthaf o bob tu, cymmerasant y ddinas gyd â hawsder. Ac fel na wnaethai 'r trigolion un math o barodrwydd ym

* Y mae Spanheim yn sylwi ar y lle, fod yr Antiochus diweddaraf hwn a elwid Epiphanes, yn cael ei grybwyll gan Dio, LIX. t. d. 645. a chan Josephus ddwywaith mewn mannau eraill hefyd. V. 11. Hynaf. XIX. 8.

mlaen llaw i ddiangc, nac â chanddynt un peth yn barod i ymladd; syrthiodd y milwyr arnynt, ac a'u lladdasant oll gyd â'u teuluoedd; ac yna a anrheithiasant ac a losgasant y ddinas. Rhifedi y lladdedigion ydoedd wyth mil a phedwar cant. Yn y cyffelyb fodd hefyd y danfonodd Cestius gorph cadarn o wŷr meirch i dalaith Narbatane, yr hon oedd yn cyssylltu â Cæsarea: yr hwn a ddifrododd y wlad, ac a laddodd liaws mawr o'i thrigolion. Yspeiliasant hefyd yr hyn oedd ganddynt, a llosgasant eu pentrefi

Ond Cestius a ddanfonodd Gallus, trefnwr y deuddegfed lleng i Galilea; a rhoddi atto ef gynnifer o'i luoedd ag a feddyliodd yn ddigon i ddarostwng y genedl honno. Derbyniwyd ef gan y ddinas gadarnaf yn Galilea; yr hon ydoedd Sepphoris, gyd â bloeddiadau o lawenydd. Pa ryw gall ymddygiad o eiddo 'r ddinas honno, a barodd i'r dinasoedd eraill gael llonyddwch. Pan y darfu i'r rhan ymbleidgar, a'r yspeilwyr ddiangc ymaith i'r mynydd Asamon, ag sy'n gorwedd ynghanol Galilea, a'i sefyllfa gyferbyn â Sepphoris. Felly Gallus a ddygodd ei luoedd yn eu herbyn. Ond tra'r oedd y dynion hyn ynghyrrau y mynydd uwch ben y Rhufeiniaid, yr oeddynt gyd â hawsdra yn bwrw eu saethau arnynt fel ag yr oeddynt yn agoshau, a lladdasant ynchylch dau cant o honynt. Ond wedi i'r Rhufeiniaid fyned o amgylch y mynyddau, a dyfod i gurrau uwchlaw eu gelynion, hwy a orchfygwyd yn fuan. Ac ni allai y rhai oedd ag arfogaeth ysgafn am danynt oddef grym y rhai oedd mewn cyflawn arfogaeth: na phan drechid hwynt, ni fedrent ragori ar feirch y gelynion. Felly ni allodd ond ychydig, a ymguddiasant mewn mannau anhawdd dyfod attynt, ddiangc, pan ddarfu i'r lleill, yn ddwy fil o nifer, gael eu lladd.

## PENNOD XIX.

*Am yr hyn a wnaeth Cestius yn erbyn yr Iuddewon; ei warchaedigaeth ar Jerusalem; a'r peryglon a aeth tanynt yn ei enciliad.*

YN awr Gallus, heb ganfod dim yn rhagor ag oedd yn edrych yn debyg i wrthryfel yn Galilea, a ddychwelodd gyd â'i luoedd i Cæsarea. Ond Cestius a symmudodd gyd â'i holl fyddin; ac a aeth ymaith i * Antipatris. Ac wedi hyspysu iddo fod corph mawr o luoedd Iuddewig wedi crynhoi ynghyd mewn rhyw dŵr a elwid † Aphec, fe ddanfonodd blaid o'r blaen i ymladd â hwynt. Ond y blaid yma a wasgarodd yr Iuddewon trwy eu dychrynu hwynt, cyn iddynt ddyfod i frwydr. Felly hwy a ddaethant yno, ac wedi cael eu gwersyll yn wag hwy a'i llosgasant, yn gystal a'r pentrefydd oedd o'i amgylch. Ond pan aeth Cestius ymaith o Antipatris i Lydda, fe gafodd y ddinas yn wag o ddynion. Canys yr oedd yr ‡ holl liaws wedi myned i fynu i Jerusalem i ŵyl y pebyll. Etto fe ddifethodd ddeg a deugain o'r rhai a ymddangosasant eu hunain, gan losgi 'r ddinas, ac wedi hynny myned rhagddo yn ei flaen. A chan esgyn i fynu wrth § Bethoron, fe wersyllodd mewn rhyw le a elwid || Gabao, ddeg a deugain o 'stadau o Jerusalem.

Ond am yr Iuddewon, pan welsant y rhyfel yn neshau at eu prif-ddinas, hwy a adawsant yr ŵyl ac a aethant tan eu harfau. A chan ymgefnogi o herwydd eu lliosowgrwydd, hwy a aethant yn ddisymmwth, ac mewn dull annhrefnus i ymladd; gan wneuthur sŵn mawr, ac heb ystyried dim am weddill y seithfed dydd, er mai'r Sabboth ydoedd y diwrnod i ba un yr arferent dalu y parch mwyaf. Ond y cynddaredd ag a wnaeth iddynt anghofio eu sulw crefyddol o'r dydd Sabboth, a barodd iddynt fod yn rhy galed i'w gelynion yn yr ymladdfa; gyd â'r fath rym a ffyrnigrwydd, gan hynny, y syrthiasant ar y Rhufeiniaid; ag i dorri i mewn i'w rhesau, a myned trwy eu canol hwynt, a lladd llawer yn eu ffordd: yn gymmaint a phe na buasai

* Yn y ffordd i Jerusalem.

† Gwel Hynaf. VIII. 14.

‡ Yma y mae gennym siampl hynod o'r iaith Iuddewig honno, pa un y mae Dr. Wall yn iawn sylwi yr ydym yn ei gael amryw weithiau yn y 'sgrifenadau cyssegredig; fy meddwl yw pan y mae'r gair oll, neu'r holl liaws yn cael ei arferyd am y rhan fwyaf yn unig; ond nid yn y fath fodd ag i gynnwys pob rhyw un, heb wahaniaeth. Canys wedi i Josephus ddywedyd fod yr holl liaws. (yr holl wrrywon) yn Lydda wedi myned i ŵyl y pebyll; y mae'n chwanegu yn union ddarfod i ddim llai na 50 o honynt ymddangos, a'u lladd gan y Rhufeiniaid. Siamplau eraill â rhyw debygolrwydd i hyn a sylwiais arnynt mewn mannau eraill yn Josephus; ond nid yn un lle, fel y tybiaf, mor neillduol a hwn. Y mae gennym yma hefyd ddwy weithred i sylwi arnynt; sef, y siampl gyntaf, ag wyf yn ei chofio yn Josephus, o ymosodiad gelynion yr Iuddewon ar eu gwlad, pan ydoedd eu gwrrywaid wedi myned i fynu i Jerusalem ar un o'r tair gŵyl: yr hyn yn oed y llywodraeth ddwyfol, a addawodd Duw eu gwaredu rhagddo. Exod. xxxiv. 24. Yr ail weithred yw, torriad y Sabboth gan yr Iuddewon ymrysongar mewn ymladdfa wrthwynebol; yn groes i athrawiaeth gyffredinol, ac ymarferiad eu cenedl yn yr oesoedd hyn: ac hefyd yn wrthwyneb i'w harferiad eu hunain ar ol hynny yngweddill y rhyfel hwn. Gwel y nod ar Hynaf. XVI. 2.

§ Gwel pen. 12.

|| Gwel Hynaf. VII. 1.

i'r gwŷr meirch, a'r fath ran o'r gwŷr traed ag ydoedd heb ddiffygio etto yn y frwydr chwil-droi, a chynnorthwyo y rhan hynny o'r fyddin ag oedd heb ei dyrysu, Cestius, gyd â'i holl fyddin a fuasai mewn perygl. Pa fodd bynnag, pum cant a phymtheg o'r Rhufeiniaid a laddwyd: o ba nifer pedwar cant ydoedd wŷr traed, a'r gweddill yn wŷr meirch; pan na chollodd yr Iuddewon yn unig ond dau ar hugain. O ba rai y gwŷr hynottaf oedd garennydd ¶ Monobasus, brenin Adiabene. A'u henwau oedd Monobasus, a Cenedeus. A'r nesaf attynt hwy oedd Niger o Perea, a Silas o Babilon; yr hwn a adawsai y brenin Agrippa i fyned at yr Iuddewon: canys fe wasanaethasai gynt yn ei fyddin ef. Wedi i'r ochr flaenaf o fyddin yr Iuddewon gael ei thorri ymaith, hwy a giliasant yn ol i'r ddinas. Ond etto Simon, mab Giora, a syrthiodd ar gefnau y Rhufeiniaid, fel yr oeddynt yn dringo rhiw Bethoron, ac a ddododd annhrefn ym mysg y rhai olaf o'r fyddin; a chymmerasant oddi arnynt amryw o'r anifeiliaid oedd yn cludo'r arfau rhyfel, ac a'u dygasant i'r ddinas. Ond fel yr arhosodd Cestius yno dri diwrnod, yr Iuddewon a oresgynnasant y parthau uchaf o'r ddinas; ac a osodasant wylwyr ar y pyrth; gan ymddangos yn amlwg na ymroddent i orphwys, yn ol cychwynfa y Rhufeiniaid tu ag attynt.

Yn awr pan sylwiodd Agrippa fod hyd yn oed achosion y Rhufeiniaid yn debyg o gael eu peryglu, pan ydoedd y fath liaws aneirif o'u gelynion wedi goresgyn y bryniau o amgylch; fe ymroddodd i wneuthur prawf o'r hyn a gyttunai yr Iuddewon iddo trwy eiriau: gan dybied y byddai iddo un a'i gallu eu perswadio oll i beidio ag ymladd; neu, pa fodd bynnag, y perswadiai y rhan gymhedrol o honynt i wasgaru oddi wrth y blaid elyniaethol. Felly fe ddanfonodd Borceus a Phebus, y gwŷr o'i blaid ef, ag oedd fwyaf adnabyddus iddynt; gan addaw y byddai i Cestius roi iddynt ei ddeheulaw, i'w sicrhau o hollol faddeuant y Rhufeiniaid o'r hyn a wnaethant ar gam, os bwrient ymaith eu harfau, a dyfod trosodd attynt hwy. Ond yr ymrysonwyr yn ofni, rhag i'r holl liaws, tan obaith am ddiogelwch iddynt eu hunain, fyned trosodd at Agrippa, a ymroisant yn uniongyrch i syrthio ar, a lladd y cennadwyr. Yn ganlynol hwy a laddasant Phebus, cyn iddo gael dywedyd gair. Ond Borceus a archollwyd yn unig, ac felly fe ragflaenodd ei ddinystr trwy ffoi ymaith. A phan oedd y bobl yn dra digllon o herwydd hyn, curasant y terfysgwyr â ffyn, a thrwy ergydio cerrig attynt; ac a'u gyrrasant o'u blaenau i'r ddinas.

Ond Cestius yn awr yn canfod fod y terfysgoedd a ddechreuasid ym mysg yr Iuddewon yn rhoddi iddo achlysur digonol i'w gorddiwes hwynt, a gymmerodd ei holl fyddin gyd ag ef, ac a ddododd yr Iuddewon i ffoi, ac a'u herlidiodd hyd at Jerusalem. Yna fe wersyllodd ar ddyrchafiad tir a elwid † Scopus, neu 'r tŵr gwylio, yr hwn sydd o belldra saith ystadau o'r ddinas. Etto nid ymosododd arnynt hyd ben y tri diwrnod; gan ddisgwyl y byddai i'r rhai oddi mewn ymostwng ychydig: ac yn y cyfamser fe ddanfonodd allan lawer o'i filwyr i'r pentrefi i gymmeryd meddiant o'r ŷd neu'r llafur. Ac ar y pedwerydd dydd, yr hwn oedd y trydydd ar ddeg o'r mis Hyperbereteus neu Tizri, wedi gosod ei fyddin mewn trefn, fe 'i harweiniodd i mewn i'r ddinas. Yn awr y bobl a gedwid tan ymostyngiad gan yr ymrysonwyr. Ond hwy eu hunain a arswydwyd yn fawr trwy 'r olwg ar drefniadau y Rhufeiniaid; a chan ymadael o'r maes-drefi, hwy a giliasant i'r rhan dufewnol o'r ddinas, ac i'r deml. Ond pan ddaeth Cestius i'r ddinas, fe osododd y rhan a elwid Bezetha, ac hefyd a enwid Cenopolis, neu 'r ddinas newydd ar dân; fel y gwnaeth hefyd â'r pren farchnad. Ar ol yr hyn y daeth i'r ddinas uchaf, ac a wersyllodd gyferbyn â'r palas brenhinol. A phe buasai ar yr amser hwn yn ymdrechu myned y tu fewn i'r muriau trwy drais, fe ynnillasai y ddinas yn y fan, a rhoesid terfyn ar unwaith ar y rhyfel. Ond Tyrannius Priscus, golygwr y fyddin, a nifer o swyddygion y gwŷr meirch a lygrasid ag arian gan Fflorus, ac a'i troesant ef rhag anturio gwneuthur hynny. A dyna a fu 'r achos o ddarfod i'r rhyfel hwn barhau mor hir; ac y suddwyd yr Iuddewon trwy hynny i gymmaint o anesgorol drallodion.

Yn y cyfamser llawer o wŷr pennaf y ddinas a berswadiwyd gan Ananus, mab Jonathan, i

¶ Gwel Hynaf. XX. 2.

† Gwel Llyfr V. pen. 2.

wahawdd Cestius i'r ddinas, ac oeddynt ynghylch agor y pyrth iddo ef. Ond efe a ddibrisiodd y cynnygiad hwn; mewn rhan o herwydd ei ddigter wrth yr Iuddewon, ac mewn rhan o herwydd nad oedd yn cwbl gredu eu bod yn ddifrifol. Oddi yma y bu iddo oedi y mater cyhyd, fel y daeth y rhai ymrysongar i wybod am y fradwriaeth; a thaflasant Ananus, a'r rhai o'i blaid ef i lawr oddi ar y mur, gan eu lluchio â cherrig, a'u gyrru i mewn i'w tŷau. Ond hwy a sefydlasant eu hunain mewn pellder cymmwys oddi wrth eu gilydd yn y tŷrau, ac a ergydiasant saethau at y rhai a ymdrechent i ddyfod tros y mur. Fel hyn y gwnaeth y Rhufeiniaid eu hymosodiad ar y mur tros bum niwrnod; eithr i ddim diben. Ond ar y dydd nesaf Cestius a gymmerodd nifer nid bychan o'i wŷr mwyaf dewisol, a chyd â hwynt y saethyddion, ac a wnaeth ymgais i dorri i mewn i'r deml y tu gogleddol iddi. Ond yr Iuddewon a'u curasant ymaith oddi ar yr ystefyll-dai, ac a'u gyrasant yn ol amryw weithiau, wedi cyrraedd o honynt yn agos at y mur; nes o'r diwedd i amlder y saethau eu torri ymaith, a pheri iddynt gilio. Ond y rhes flaenaf o'r Rhufeiniaid a orphwysasant eu tarianau ar y mur; ac felly y gwnaeth y rhai oedd o'r tu ol iddynt; a'r un modd y rhai oedd bellach; gan ymddiffyn eu hunain â'r peth a alwent Testudo, ar ba un y saethau a ergydid a ddisgynai, ac a lithrent ymaith heb wneuthur iddynt ddim niweid. Felly y milwyr a ddadsylfaenasant y mur, heb dderbyn dim niweid; ac a gawsant bob peth yn barod i ddodi tân at borth y deml.

Yn awr bu i ddychryn ofnadwy syrthio ar yr ymrysonwyr, yn gymmaint ag y bu i amryw o honynt fyned allan o'r ddinas fel pe buasai yn uniongyrch i gael ei chymmeryd. Ond y bobl ar hyn a ymgefnogodd: a lle y darfu i'r rhan ddrygionus o'r ddinas gilio, yno y daethant hwythau i'r diben i ddodi 'r pyrth yn agor, ac i gymmeryd Cestius i mewn fel eu cymmwynaswr: yr hwn pe buasai ond parhau y cynllwyn ychydig yn rhagor, yn sicr a gymmerasai 'r ddinas. Ond * digter ac anfoddlonrwydd Duw, fel yr wyf yn dychymmyg, tu ag at y ddinas a'r cyssegr, a barodd ei luddias rhag gweud terfyn ar y rhyfel y dydd hwnnw.

Fe ddigwyddodd y pryd hynny na wybu Cestius pa mor anobeithiol oedd y rhai a warchaewyd arnynt am lwyddiant; na pha mor gefnog yr oedd y bobl yn disgwyl am dano ef: ac felly fe alwodd ei filwyr ymaith oddi wrth y lle; a thrwy anobeithio disgwyl ei gymmeryd, heb ddigwydd iddynt ddim aflwydd, fe giliodd ymaith oddi wrth y ddinas yn hollol ddi-achos. Ond pan wybu'r yspeilwyr am ei enciliad annisgwyladwy hwn, hwy a adnewyddasant eu cefnogrwydd, ac a redasant i orddiwes y rhannau olaf o'i fyddin, gan ladd rhifedi nid bychan o'r gwŷr meirch, a'r gwŷr traed. Yn awr Cestius a orweddodd yr holl nos yn y gwersyll ag oedd wrth Scopus: ac fel yr oedd yn myned ymhellach y dydd nesaf; fe dynnodd wrth hynny y gelyn i ddilyn ar ei ol; yr hwn fyth a syrthiodd ar y rhai olaf, ac a'u difethodd hwynt. Cwympasant hefyd ar yr ochrau o bob tu i'r fyddin; a bwriasant saethau yn ŵyrdraws attynt. Ac ni allai y rhai diweddaf ddychwelyd neu droi at y rhai oedd yn eu harcholli hwynt o'r tu cefn; gan ddychymmygu fod lliaws y rhai a'u herlidiai hwynt yn aneirif. Ac ni chynnygiasant yrru ymaith y rhai oedd yn gwasgu arnynt ar bob ochr, o herwydd eu bod wedi eu beichio ag arfau, ac yn ofni torri eu rhesau yn ddrylliau; ac wrth weled o honynt yr Iuddewon yn gyflym, ac yn barod i wneud rhuthriadau arnynt. A dyma oedd y rheswm paham y dioddefodd y Rhufeiniaid gymmaint heb allu ymddial eu hunain ar eu gelynion. Felly hwy a flinwyd yn eu holl ffordd, a'u rhesau a ddodwyd mewn annhrefn, a'r rhai a ddodwyd fel hyn allan o'u rhesau a laddwyd. Ym mysg pa rai yr ydoedd Priscus, tywyswr y chwechfed lleng; a Longinus y tribun; ac Emilius Secundus, blaenor y llu o wŷr meirch.

* Dichon i reswm arall tra phwysig a rhagluniaethol gael ei roddi am ymadawiad ffol a dieithr Cestius oddiwrth y gwarchae: yr hwn, pe buasai Josephus yn awr yn Gristion, ysgatfydd a fuasai hefyd yn cymmeryd sulw o hono: a hynny yw rhoddi achlysur i'r Cristionogion Iuddewig yn y ddinas, i alw i'w côf y rhagfynegiad a'r gocheliad a roddas ididdynt gan Grist ynghylch tair ar ddeg ar hugain a hanner o flynyddoedd o'r blaen; mai pan welent y ffieidd-dra anghyfanneddol, (y lluoedd Rhufeinig eilun-addolgar, gyd â delwau eu heilunod ar eu bannerau, yn barod i wneud Jerusalem yn anghyfanedd:) yn sefyll lle ni ddylai; sef, yn y lle sanctaidd. Neu pan welent Jerusalem wedi ei hamgylchu â lluoedd, yna fod iddynt ffoi i'r mynyddoedd: trwy gydsynio â'r hyn y Cristionogion Iuddewaidd a ffoisant i fynyddoedd Perea, ac a ddiangasant rhag y dinystr hwn. Ac ni fu ysgatfydd y fath siampl o anghall, eithr rhagluniaethol, weithred Cestius yn ei ffoedigaeth, a thros holl amser ei warchauedigaeth ar Jerusalem; yr hyn, trwy drefniad rhagluniaeth, a fu yn achos o'r fath fawr drallodion, a'r na bu eu cyffelyb er dechreuad y byd; nac a fyddai i fod ar ol hynny.

Felly nid heb anhawsdra y gallasant ddyfod i Gabao, eu gwersyll blaenorol, nac heb golli rhan fawr o'u dodrefn rhyfel. Yno y bu i Cestius wneud arhosfa ddeuddydd, a chyfyng oedd arno am wybod pa beth i'w wneuthur yn yr amgylchiadau hyn. Ond pan, ar y trydydd dydd y canfu ychwaneg nifer o elynion, a'r holl leoedd o'i amgylch yn llawn o Iuddewon, deallodd fod ei oediad er ei niweid ei hun; ac os arosai yn hwy yno, y byddai i ychwaneg o elynion ei orddiwes ef.

Fel y gallai wneuthur ffoedigaeth mwy cyflym, gan hyny rhoddodd orchymmyn i fwrw ymaith yr hyn oedd er rhwystr i'r fyddin. Felly hwy a laddasant y mulod, a chreaduriaid eraill, oddigerth y rhai oedd yn dwyn y saethau, a'r peiriannau rhyfel, y rhai a gadwasant i'w gwasanaeth eu hunain: a hyn yn bennaf am eu bod yn ofni rhag eu gorddiwes gan yr Iuddewon. Yna y gwnaeth i'w fyddin fyned rhagddi cyn belled a * Bethoron. Yn awr ni ymosododd yr Iuddewon mor drwm arnynt tra'r oeddynt mewn lleoedd ehang: ond pan gyfyngid arnynt yn eu disgynfa trwy ffyrdd, neu dramwyfeydd culion, yna y safodd rhai o honynt o'u blaen, i'w rhwystro allan o honynt, ac eraill a wthient y rhai olaf i lawr i'r gwaelodion: a'r holl liaws a ymestynasant o amgylch y cyfyngle hwnnw, ac a orchuddiasant y fyddin Rufeinig â'u piccellau. Ym mha amgylchiad y gwŷr traed heb wybod pa fodd i amddiffyn eu hunain, felly y perygl oedd yn gwasgu ychwaneg fyth ar y gwŷr meirch: canys fe fwrid attynt mor dost gan yr erlidwyr, fel na allent fyned rhagddynt yn eu rhesau ar hyd y ffyrdd; a'r gorifyny neu riw ydoedd mor faith nad oedd bossibl i'r marchogion ymosod ar y gelynion. Y goriwared hefyd a'r dyffrynoedd i ba rai y mynych ddisgynnent, ac y treiglent i lawr, ydoedd y fath ar bob tu iddynt, nad oedd le i ddiangc, nac un ffordd a allent feddwl am dani i'w hamddiffyn eu hunain: nes i'r cyfyngder yr oeddynt ynddo ddyfod mor fawr a pheri iddynt ymroddi eu hunain i wylofain, ac i wneud y fath gri galarus, ag a arferir gan ddynion tan yr anobaith mwyaf. Bloeddiadau llawen yr Iuddewon hefyd fel yr oedd y naill yn cefnogi'r llall, a ddadseiniodd y sŵn yn ol drachefn; fel y llyngcid y galarnadau i fynu gan ruadau ac ymffrost y gelynion. Yn wir yr oedd pethau wedi dyfod i'r fath amgylchiad, fel y bu'r Iuddewon yn agos a chymmeryd holl fyddin Cestius yn garcharorion, pe na buasai i'r nos ddyfod ym mlaen, pryd y diangodd y Rhufeiniaid i Bethoron; a'r Iuddewon a oresgynodd yr holl fannau o'u hamgylch, ac a wyliasant eu dyfodiad allan y boreu nesaf.

Yna y bu wedi i Cestius anobeithio gwneud cychwynfa gyhoeddus, ddyfeisio o hono pa fodd y gallai ddiangc yn oreu ymaith. Ac wedi iddo ddethol pedwar cant o'r rhai mwyaf dewr o'r milwir, fe'u gosododd yn eu hamddiffynfaoedd cadarnaf: gan orchymmyn pan elent i fynu i'r wladwriaeth foreu, ar iddynt osod i fynu eu banerau, fel y parai i'r Iuddewon gredu fod yr holl fyddin yn gorwedd yno: pan y cymmerodd efe ei hun weddill y llu oedd gyd ag ef, ac yr aeth ymaith yn ddi gyffro ddeg ar hugain o 'stadau. Ond pan ganfu'r Iuddewon yn y boreu fod y gwersyll yn wag, hwy a redasant ar y pedwar cant a'u twyllasai hwynt, ac yn ebrwydd a fwriasant eu piccellau attynt, ac a'u lladdasant; ac yna hwy a erlidiasant ar ol Cestius. Ond efe eisoes a wnaethai ddefnydd o'r rhan fwyaf o'r nos yn ei ffoedigaeth, ac a deithiodd yn gyflymmach wedi ei myned yn ddydd. Yn gymmaint ag y darfu i'r milwyr, trwy'r syndod a'r ofn yr oeddynt ynddo, adael o'u hol eu † hofferynau cynllwyn, a'r rhai i daflu cerrig â hwynt, ynghyd â rhan fawr o'u peiriannau rhyfel eraill. Felly'r Iuddewon a aeth ymmlaen, gan erlid y Rhufeiniaid mor bell ag Antipatris. Yn ol hyn, wedi gweled na allent eu goddiweddyd, hwy a ddychwelasant; gan gymmeryd gyd â hwynt yr offerynau, ac yspeilio'r cyrph meirw, a chasglu ynghyd yr ysglyfaeth a adawsai y Rhufeiniaid o'u hol, ac a ddaethant drachefn ar eu rhedeg, a than ganu i'w prif-ddinas; wedi colli o honynt hwy ond ychydig ddynion yn unig; ond wedi lladd o'r Rhufeiniaid bum mil a thri chant o wŷr traed; a thri chant a phedwar ugain o wŷr meirch. Y fuddugoliaeth yma a ddigwyddodd yr wythfed dydd o'r mis Dius, neu Marhesvan, yn y ‡ ddeuddegfed flwyddyn o deyrnasiad Nero.

* Gwel pen. 12.

† Gwel Llyfr V. pen. 6

‡ B. A. 66.

## PENNOD XX.

*Cestius yn anfon cennadwyr at Nero. Pobl Damascus yn lladd yr Iuddewon oedd yn byw gyd â hwynt. Pobl Jerusalem ar ol erlidiad Cestius,yn dychwelyd i barottoi amddiffyniad i'w dinas; ac yn appwyntio amryw flaenoriaid i'w byddinoedd, yn enwedig Josephus, ysgrifenydd y llyfrau hyn. Ychydig hanes am ei weinidogaethiad.*

AR ol yr aflwyddiant hwn a gyfarfu â Cestius, llawer o wŷr enwog yr Iuddewon a noffasant ymaith o'r ddinas, megis o long ag oedd ar fyned i suddo i'r dyfnder. Costobarus gan hynny, a Saul, y rhai oeddynt gyd-frodyr a Philip, mab Jacimus, blaenor byddinoedd Agrippa, a ffoasant ymaith o'r ddinas, ac a aethant at Cestius. Ond pa fodd y darfu i Antipas, yr hwn a warchauasid arno ymhalas y brenin, ac ni fynnai ffoi ymaith gyd â hwynt, gael ar ol hynny ei ladd gan y rhai ymrysongar,* nyni a adroddwn yn ol hyn. Pa fodd bynnag Cestius a ddanfonodd Saul, a'i gyfeillion, ar eu dymuniad eu hunain i Achaia, at Nero; i'w wneud ef yn hyspys o'r cyfyngder mawr yr oeddynt ynddo; ac i ddodi'r bai o ennyn y rhyfel ar Fflorus;megis yn gobeithio lleihau ei berygl ei hun, trwy gythruddo anfoddlonrwydd Cæsar yn erbyn Fflorus

Yn y cyfamser pobl Damascus pan glywsant am ddistryw y Rhufeiniaid, a ymosodasant ynghylch lladd yr Iuddewon hynny ag oedd yn eu plith hwynt. Ac fel yr oeddynt eisoes ganddynt wedi eu cutio i fynu mewn rhyw le o ddifyrwch cyhoeddus, yr hyn a wnaethent ar gyfrif eu drwg-dybiau tu ag attynt, meddyliasant nad oedd anhawdd iddynt wneud y cynnygiad. Etto darfu iddynt anhyderu yn eu gwragedd, y rhai oeddynt agos i gyd yn tueddu at y grefydd Iuddewig: ar ba gyfrif eu gofal pennaf ydoedd pa fodd y cadwent y peth yn guddiedig rhagddynt hwy. Felly hwy a ddaethant ar warthaf yr Iuddewon, a hwy mewn lle cyfyng, a thorasant wythi eu gwaed, yn ddeng mil o nifer, a phawb o honynt yn anarfog: a hyn a wnaethpwyd mewn un awr o amser, heb neb i'w rhwystro hwynt.

Ond am y rhai a erlidiasant ar ol Cestius, pan ddychwelasant ynol i Jerusalem,hwy a ddarostyngasant rai o'r rhai hynny ag oedd yn ffafru y Rhufeiniaid o orfod; a rhai a berswadiasant trwy erfyniau i uno â hwynt; ac a ddaethant ynghyd yn lliaws i'r deml, gan appwyntio amryw gad-flaenoriaid i'r rhyfel; † Joseph hefyd, mab Gorion, ac Ananus yr archoffeiriad, a ddewiswyd yn llywodraethwyr pob achosion yn y ddinas, gyd â gorchymmyn pendant i adgyweirio 'r muriau. Canys ni osodasant ‡ Eleazar, mab Simon i'r swydd honno, er cael o hono i'w feddiant yr ysglyfaeth a gymmerasant oddi ar y Rhufeiniaid, a'r arian a gawsant oddiwrth Cestius, ynghyd â rhan fawr o'r trysorau cyffredin: am weled o honynt ei fod ef o dymmer ormeslyd; a bod ei ddilynwyr, mewn ymddygiad, fel gwarchawdlu o'i amgylch. Pa fodd bynnag, yr angen ag oedd arnynt am gymmorth Eleazar, a'r cyfrwysedd a arferid ganddo ef, a ddaeth a'r cwbl felly o amgylch, fel yr hudwyd y bobl, ac yr ymostyngasant i'w awdurdod ef ym mhob achosion cyhoeddus.

Dewisasant hefyd gad-flaenoriaid eraill tros Idumea: Jesus fab Sapphias, un o'r archoffeiriaid; ac Eleazar, fab Ananias, yr archoffeiriad. Rhoddasant orchymmyn hefyd i § Niger, llywodraethwr ‖ Idumea y pryd hynny, yr hwn oedd o dylwyth perthynol i Perea, tu hwnt i'r Iorddonen, ac oddiwrth hynny a alwyd y Peread, ar iddo ef ufuddhau i'r blaenoriaid rhag-ddywededig. Ac ni esgeulusant ofalu tros rannau eraill y wlad; ond Joseph, mab Simon, a ddanfonwyd yn gad-flaenor i Jericho, megis Manasseh i Perea: ac Ioan, yr Esseniad, i dalaith Thamna. Lydda hefyd a chwanegwyd at ei ran ef, a Joppa, ac Emmaus. Ond Ioan, mab Matthias a wnaed yn llywodraethwr taleithiau Gophnitica, ac ¶ Acrabatene: megis y gwnaed Josephus, mab Matthias ar y ddwy Galilea. ** Gamala hefyd, yr hon oedd y ddinas gadarnaf, a roddwyd tan ei orchymmyn ef.

* Gwel Llyfr IV. pen. 4.

† Oddiwrth yr enw hwn o Joseph, mab Gorion, neu Corion, mab Joseph, megis IV. 3. un o lywodraethwyr Jerusalem, yr hwn a laddwyd ar ddechrau'r terfysgoedd, gan yr ymbleidwyr,IV. 6. yr awdwyr Iuddewig diweddar o hanesiad y genedl honno, a gymmerant y titl hwn, ac etto ydynt yn personoli ein gwir Josephus, fab Matthias: ond y dwyll sydd yn rhy amlwg i hudo y byd dysgedig.

‡ Gwel pen. 19.

§ Gwel Llyfr I. pen. 1.

‖ Gallwn sylwi yma fod yr Iudumeaid, megis wedi bod yn broselitiaid crefyddol er dyddiau Ioan Hyrcanus, tros yspaid 195 o flynyddau, yn cael eu cyfrif yn awr megis rhan o'r genedl Iuddewig, ac yma yn cael gosod llywodraethwr Iuddewig arnynt. Gwel y nod ar Hynaf. XIII. 9.

¶ Gwel Hynaf. XII. 8.

** Gwel. Hynaf. XIII. 15.

Felly pob un o'r llywyddion eraill a weiniasant achosion y taleithiau a ranwyd iddynt gyd â'r bywiogrwydd a'r pwyll ag oeddynt feddiannol o hono. Ond am Josephus, pan ddaeth i Galilea, ei ofal cyntaf ydoedd i ynnill ewyllys da pobl y wlad honno; megis yn deall y byddai trwy hynny yn debyccach o lwyddo yn eu hamddiffyniad, er methu mewn rhai pethau eraill: a chan gydnabod os gorchymynai ran o'i awdurdod i'r gwŷr mawr, y gwnai hwynt yn gyfeillgar iddo; ac yr ennillai yr un ffafr oddi wrth y lliaws os cyflawnai ei weinidogaeth trwy gynnorthwy rhai gwŷr o'u gwlad eu hunain, pa rai a adwaenent yn dda; efe gan hynny a ddewisodd * ddeg a thrugain o'r gwŷr callaf,a'r rhai hynny yn oedrannus mewn dyddiau, ac a'u happwyntiodd hwynt yn llywodraethwyr trwy holl Galilea; megis ag y trefnodd saith farnwr ym mhob dinas i wrando'r achosion lleiaf. Canys am y prif achosion, i ba rai yr oedd bywyd a marwolaeth yn perthyn, gorchymmynodd am eu dwyn atto ef, a'r deg a thrugain henuriaid.

Josephus hefyd, wedi iddo sefydlu y llywodraethwyr hyn i benderfynu achosion cyfraith ymherthynas i ymddygiad y bobl y naill tu ag at y llall, a gymmerodd yn llaw wneuthur parottöad o amddiffyn rhag rhuthriadau oddi allan. Ac fel y gwyddai y gwnai y Rhufeiniaid ymosodiad ar Galilea, fe gododd furiau yn rhai mannau; sef o amgylch Jotapate, Bersabee, a Salamis; ac heblaw y rhai hyn, o amgylch Caphareccho, Japha, a Sigo, a'r hyn a alwant mynydd Tabor, a Tharicheæ, a Thiberias. Efe hefyd a wnaeth furiau o gwmpas yr ogofeydd yn agos i lyn † Gennesar, pa ryw fannau a orwedd yn Galilea isaf. Gwnaeth yr un modd â mannau yn Galilea uchaf: yn gystal i'r graig a elwid Craig Achabari, ac i Seph, a Jamnith, a Meroth. Ac yn Gaulanitis fe amddiffynodd Seleucia, Sogane, a Gamala. Ond am y rhai o Sepphoris, hwynt hwy oedd yr unig bobl i ba rai y rhoddes gennad i adeiladu eu muriau eu hunain: a hyn o herwydd canfod o hono eu cyfoethogrwydd, a'u parodrwydd i ryfel, heb fod yn sefyll mewn angen o annogaeth i'r pwrpas hwnnw. Yr achos ydoedd yr un mewn perthynas iGischala,yr hon oedd â mur wedi ei godi o'i hamgylch gan Ioan, mab Lefi ei hun, eithr trwy gydsyniad Josephus. Ond am adeiladau eraill o'r amddiffynfeydd,fe gyd-lafuriodd â'r holl grefftwyr, ac a ydoedd yn bresennol i roddi'r cyfarwyddyd angenrheidiol i'r pwrpas hwnnw. Casglodd hefyd ynghyd fyddin oGalilea, y nfwy na chan mil o rifedi o wŷr ieuaingc; y rhai oll a ymarfogodd â hen arfau a gasglasai ynghyd, ac a barottodd iddynt hwy.

A phan ystyriodd fod y fyddin Rufeinaidd wedi dyfod yn annorchfygol, yn bennaf trwy eu parodrwydd yn ufuddhau i orchymmyn eu blaenoriaid, ac ymarferiad gwastadol o'u harfau; fe anobeithiodd ddysgu ei wŷr i'w hiawn ddefnyddio, yr hyn ydoedd i'w feddiannu trwy brofiad: ond wrth sylwi ymhellach fod eu parodrwydd i ufuddhau yn deilliaw oddiwrth amldra eu blaenoriaid, trefnodd ddosparthiadau ei fyddin yn fwy yn ol y dull Rhufeinaidd, gan appwyntio llawer o is-swyddogion. Efe hefyd a ddosparthodd y milwyr yn amryw bartion;y rhai a osododd tan gadbeniaid, o ddegau, ac o gantoedd; ac yna tan gadbeniaid o filoedd: ac heblaw y rhai hyn yr oedd ganddo flaenoriaid ar fwy minteioedd o ddynion. Dysgodd hefyd iddynt roddi arwyddion y naill i'r llall; ac i alw ac ad-alw y milwyr trwy udgyrn: i beri i adain y fyddin ymestyn allan, neu chwil-droi o amgylch: a phan lwyddai un adain, ar iddynt droi i gynnorthwyo y rhai a ymosodid yn drwm arnynt. Efe hefyd yn barhaus a'u hyfforddiodd yn yr hyn a berthynai i wroldeb yr enaid, a chaledi corphorol. Ac uwchlaw 'r cwbl fe'u haddysgodd mewn ymarferiadau rhyfel, ïe, cyn iddynt ddyfod i un

* Nyni a welwn yma, ac yn hanes Josephus o'i fywyd ei hun, mor gywir y dilynodd ei ddeddf-roddwr Moses; neu ysgatfydd yn unig a ufuddhaodd yr hyn a gymmerodd ei fod yn ol ei gyfraith ef, yn appwyntio saith is-farnwyr gogyfer â'r achosion lleiaf ymhob dinas; ac ysgatfydd i wrandawiad cyntaf yr achosion mwyaf, gyd â'r rhyddid o appelio at y deg a thrugain goruwchfarnwyr; yn enwedig yn yr achosion a berthynai i fywyd a marwolaeth, megis Hynaf. IV. 8. Gwelwch hefyd am y Rhyf. IV. 5. Ymhelach yr ydym yn cael ei fod yn dilyn Moses, yn gystal â'r Rhufeiniaid, yn nifer a dosparthiad is-swyddogion ei fyddin: megis yn Exod. xviii. 25. Deut. 1. 15. ac yn ei achwyniaeth yn erbyn y swyddogion cyffredin ymmysg milwyr: fel Deut. xxiii. 9. yn yr hyn oll y dangosodd ei fawr ddoethineb, duwioldeb, a'i gyfarwyddyd mewn matterion milwraidd. Etto gallwn ddirnad, wrth ei gymmeradwyaeth mawr o Ananus, yr archoffeiriad, IV. 9. yr hwn a ymddengys ei fod yr un ag a gondemniodd St. Iago, esgob Jerusalem, i'w labyddio, tan Albinus y rhaglaw, pan ysgrifenodd y llyfrau hyn am y Rhyfeloedd, nad ydoedd Gristion mewn un gradd: pe amgen ni fethasai, yn ol ei arferol ddefod, gyfrif ei lofruddiad barbaraidd,fel cyfiawn gospedigaeth arno am ei greulondeb at y pennaf, neu yn hytrach yr unig esgobCristionogol o'r enwaediad. Nac, pe buasai y pryd hwnnw yn Gristion, y gallasai lefaru yn uniongyrch mor dosturus am achosion dinystr Jerusalem, heb sôn un gair am euog-farnu Iago, nac am groeshoeliad Crist, megis ag y gwnaeth ar ol dyfod yn Gristion wedi hynny.

† Gwel Hynaf. V. 1. XVIII. 2.

un frwydr, trwy ddangos iddynt yn amlwg drefniadau hynod y Rhufeiniaid; a'n bod i ymladd â dynion ag oedd trwy gryfder eu cyrph, a chefnogrwydd eu meddwl, wedi darostwng mewn ystyriaeth yr holl ddaear gyfanneddol. Dywedodd hefyd y gwnai brofiad o'r drefn dda a ddilynent mewn rhyfel, ïe, cyn dyfod i ymladdfa, os ymgadwent oddiwrth y beiau yr arferent eu hunain iddynt; megis lledrad, yspail, ac ysglyfaethiad; ac oddiwrth dwyllo eu cydwladwyr eu hunain: ac na chyfrifent un amser y niweid a wnaent i'r rhai oedd mor agos berthynas iddynt yn ddim mantais iddynt eu hunain. Oblegid fod rhyfeloedd yn oreu eu trefn, pan gadwai rhyfelwyr gydwybod dda: ond y bydd i'r rhai ag sydd yn ddynion drwg yn y dirgel, gael nid yn unig y rhai a ymosodo i'w herbyn yn elynion, ond hefyd Duw ei hun yn wrthwynebwr iddynt.

Yn awr fe ddewisodd i fyned i ryfel y fath fyddin ag oedd ddigonol: hynny yw trugain mil o wŷr traed, a *dau cant a deg a deugain o wŷr meirch. Ac heblaw y lliaws hyn, ym mha rai yr oedd yn gosod mwyaf o hyder, yr ydoedd ynghylch pedair mil a phum cant o gyflogyddion; a chanddo hefyd chwe chant o wŷr yn warchawdlu ei gorph. Yn awr y dinasoedd yn esmwyth a gynnaliasant y rhan arall o'i fyddin, oddigerth y cyflog-filwyr. Canys pob un o'r dinasoedd a rifwyd uchod, a ddanfonasant allan hanner eu gwŷr i'r fyddin, ac a gadwasant yr hanner arall gartref i arlwyo lluniaeth iddynt. Yn gymmaint ag yr aeth un rhan i ryfel, a'r rhan arall i weithio: ac felly y rhai a ddanfonent eu llafur neu ŷd allan a delid iddynt am dano gan y rhai oeddynt tan arfau, ar gyfrif y diogelwch a fwynhaent oddi wrthynt.

## PENNOD XXI.

*Ymherthynas i Ioan o Gischala. Y cyfrwysdra a arferwyd gan Josephus yn erbyn y bradwriaethau a osodwyd iddo gan Ioan; ac adferyd rhai dinasoedd a wrthgiliasent oddi wrtho.*

YN † awr fel yr oedd Josephus y modd hwn yn ymdrin yn brysur ag achosion gwladwriaethol Galilea, cyfododd i'w erbyn ddyn bradwriaethus, sef ‡ un o Gischala, mab Lefi, enw yr hwn ydoedd Ioan. Y dywediad am dano ef ydoedd, ei fod yn ddyn tra chyfrwys a dichellgar, tu hwnt i radd dynion godidog eraill yno; ac am ddrygioni ei weithredoedd, nid oedd cymmar iddo yn un lle. Tlawd ydoedd yn y dechrau; a thros hir amser ei eisiau a fu yn rhwystr iddo yn ei ddrwg amcanion. Yr ydoedd yn gelwyddwr parod; ac etto yn dra medrus i ennill cred i'w chwedlau. Meddyliodd ei fod yn bwngc o rinwedd i fedru twyllo pobl; ac a dwyllai hyd yn oed y rhai a fyddai anwylaf ganddo. Cymmerai arno yn rhagrithiol ei fod yn llawn dynoliaeth; ond lle byddai golwg ganddo am elw, ni arbedai dywallt gwaed. Ei ddymuniadaua dderchafid yn wastad at bethau mawrion; ac efe a gefnogodd ei obaith oddiwrth arferiadau gwael a drygionus yr oedd efe yn euog o honynt. Yr oedd yn gelfyddgar hefyd am ledrad. Ar brydiau byddai ganddo gymdeithion yn ei arferiad digywilydd. Ar y cyntaf nid oeddynt ond ychydig; ond fel ag yr aeth ym mlaen yn ei yrfa ddrygionus, daethant o hyd yn fwyfwy liosog. Cymmerodd ofal na chai neb o'i gymdeithion eu dal yn hawdd yn eu hanonestrwydd; ond fe ddewisodd gyfryw rai allan o'r lleill ag oedd fwyaf grymmus o gorpholaeth, ac yn gefnoccaf eu meddwl, ynghyd a deheudra mewn achosion milwraidd. Felly fe gafodd ynghyd lû o bedwar cant o ddynion, y rhai yn bennaf a ddaethant o wlad Tyre, ac yn grwydraid a ddiangasant ymaith o'i phentrefydd. A thrwy'r moddion o'r rhai'n fe ddifrododd hollGalilea; ac a gythruddodd nifer mawr ag ydoedd tan ddisgwyliad o ryfel, yna yn ddisymmwth i gyfodi yn eu mysg.

Pa fodd bynnag diffyg Ioan o arian a'i hattaliasai hyd yn hyn yn ei awydd i lywodraethu, ac yn ei ymdrech i ddyrchafu ei hun. Ond pan welodd fod Josephus yn mawr hoffi bywiogrwydd ei dymmer; fe'i perswadiodd yn y lle

* Mi debygwn fod 60,000 yn gofyn llawer ychwaneg na 250 o wŷr meirch: ac yr ydym yn cael fod gan Josephus fwy o wŷr meirch tan ei lywodraeth na 250 yn ei hanes rhagllaw. Meddyliaf fod nifer y miloedd wedi myned yngholl yn ein copiau presennol.

† Gall y darllenydd ddal sulw ar ychydig amrywiaethau mewn perthynas i Josephus yn y bennod hon, pan gydmarir hwynt â'r adroddiad am yr un Josephus yn hanes ei fywyd ei hun. A rhaid im' gyfaddef fy mod yn meddwl y dylai'r pethau a grybwyllir yn ei fywyd yn gyffredin gael eu diwygio o'r Llyfrau hyn am y Rhyfel. Canys fel yr ysgrifenwyd hanes ei fywyd ganddo ynghylch deg mlynedd ar hugain ar ol y Rhyfeloedd, rhaid ei fod yn cofio yn well y fath amgylchiadau yr amser gynt, na'r un diweddarach. Ac fe ymddengys i mi, un ai nad ydoedd y llyfrau hyn ynghylch y Rhyfel, y pryd hwnnw yn ei ymyl, pan ysgrifenodd hanes ei Fywyd; neu ei fod yn hynny yn ymddiried gormod i'w gôf ei hun, heb ymgynghori â hwynt.

‡ Gwel pen. 20.

cyntaf i ymddiried iddo ef y gofal o adgyweirio muriau ei le genedigol Gischala: ym mha ryw waith cafodd lawer o arian gan y dinasyddion cyfoethog. Efe ar ol hynny a luniodd ddyfais dra dichellgar. A chan honni fod yr Iuddewon oedd yn aros yn Syria, yn rhwym i wneuthur defnydd o olew a wnaed gan eraill, yn lle y rhai o'u cenedl eu hunain, dymunodd gael cennad gan Josephus i ddanfon olew i'w terfynau. Felly fe brynodd bedwar amphoræ â'r fath arian o Tyre, ag oedd o werth pedwar Attic drachmæ; ac a werthodd bob hanner amphoræ am yr un bris. Ac fel yr oedd Galilea yn dra ffrwythlon mewn olew, ac ydoedd yn neillduol felly y pryd hwnnw; trwy ddanfon ymaith fesurau mawrion, a chanddo yr unig awdurdod i wneuthur felly, fe gasglodd ynghyd swm ddi-fesur o arian,y rhai a ddefnyddiodd er anfantais i'r neb a roddasai y fraint iddo. Ac megis y meddyliodd, pe gallai unwaith ddadymchwel Josephus, y byddai iddo ei hun feddiannu llywodraeth Galilea; felly fe roddodd orchymmyn i'r yspeilwyr oedd tan ei awdurdod i fod yn fwy ymdrechgar yn eu hanturiaethau lladronaidd; fel trwy dderchafiad amryw ag oedd yn dymuno cyfodi terfysgoedd yn y wlad,y gallai un ai dal eu cadflaenor yn ei faglau, ar ei ddyfodiad i gynnorthwyo'r wlad, ac yna ei ladd ef: neu os edrychai heibio i'r yspeilwyr, y gallai ei gyhuddo oblegid ei esgeulustra tu ag at bobl y wlad. Parodd hefyd i sôn fyned o amgylch, ym mhell ac agos, fod Josephus yn myned i draddodi achosion y llywodraeth i'r Rhufeiniaid. A llawer o'r cyfryw fradwriaethau a arferodd i'r diben i'w ddrygu ef.

Yn awr ar yr un amser amryw ddynion ieuainge o'r faesdref Darbaritta, y rhai a gadwent wyliadwriaeth yn y gwastadedd mawr, a osodasant faglau i Ptolemy, yr hwn ydoedd oruchwyliwr Agrippa, a Bernice, ac a gymmerasant oddiarno yr hyn oll a feddai yn ei gylch: ym mysg pa bethau yr oedd llawer o wisgoedd gwerthfawr, ac nid ychydig o lestri arian, a chwe chant o ddarnau aur; etto ni fedrent guddio'r hyn a ledrattasent; ond hwy a'u dygasant oll at Josephus i Taricheæ. Wrth hyn fe feiodd arnynt am y trais a wnaethent i'r brenin a'r frenhines; ac efe a adawodd yr hyn a ddygasent atto ef gyd ag Eneas, y gwr galluoccaf yn Taricheæ, gyd â bwriad i ddanfon y pethau yn ol i'w perchennogion ar amser cyfaddas. Y weithred hon o eiddo Josephus a'i dygodd i'r perygl mwyaf: canys y rhai a ledrattasent y pethau oeddynt yn ddig wrtho; o herwydd na chawsent hwy un rhan o honynt iddynt eu hunain; ac o blegid iddynt ganfod ym mlaen llaw beth oedd bwriad Josephus, ac y byddai iddo roddi i fynu yn rhad yr hyn a gostiasai iddynt hwy gymmaint o boen, i'r brenin a'r frenhines. Y rhai hyn a redasant ymaith yn y nos i'w hamrywiol bentrefi, ac a gyhoeddasant i bob dynion fod Josephus yn myned i'w bradychu hwynt. Hwy hefyd a gosodasant anghydfod mawr yn yr holl ddinasoedd cymmydogaethol; yn gymmaint ag yn y boreu i gan' mil o ddynion redeg ynghyd yn arfogion. Y lliaws yma ydoedd wedi crynhoi ynghyd yn Taricheæ, ac a wnaethant achwyniaeth dra blin yn ei erbyn: pan y llefodd rhai allan am iddynt ddiswyddo y teyrfradwr: ac eraill a fynnent ei losgi ef. Yn awr Ioan a gythruddodd lawer, megis y gwnaeth hefyd un Jesus, mab Sapphias, yr hwn oedd y pryd hynny yn llywodraethwr Tiberias. Yna y bu i gyfeillion Josephus, a gwarchawdlu ei gorph fod mor ddychrynedig wrth y rhuthr disymmwth hwn o eiddo'r lliaws, fel y bu iddynt oll ffoi ymaith oddieithr * pedwar. Ac fel yr oedd yn cysgu hwy a'i deffroasant, oblegid fod y bobl yn myned i osod y tŷ ar dân. Ac er i'r pedwar a arosasai gyd ag ef ei berswadio i ffoi ymaith, nid ymderfysgodd o herwydd i'r lleill ei adael ef, nac oblegid y lliaws mawr a ddaethent i'w erbyn: ond fe neidiodd allan attynt, a'i ddillad yn rhwygedig, a lludw wedi ei daenu ar ei ben; gyd â'i ddwylaw ar ei gefn, a'i gleddyf yn crogi wrth ei wddf. Ar yr olwg hon ei gyfeillion, yn enwedig y rhai o Taricheæ, a dosturiasant wrth ei amgylchiad. Ond y rhai a ddaethent o'r wlad, ac o'u cymmydogaeth, i ba rai yr ymddangosasai ei lywodraeth yn orthrymmus, a'i gwaradwyddasant: gan beri iddo roddi cyfrif o'r arian a berthynai iddynt yn ddioed; a chyfaddef y cyttundeb a wnaethai i'w bradychu hwynt. Canys hwy a ddychymmygasant, wrth yr agwedd ym mha un yr ymddangosodd, na wadai ddim o'r hyn a ddrwg-dybiasent ymherthynas iddo, ac mai mewn trefn i gael eu pardwn

* Y cwbl ond un. Gwel hanes ei fywyd.

y dodasai y fath ddrych arno ei hun. Ond yr ymddangosiad gostyngedig hwn ydoedd yn unig yn cael ei fwriadu fel parottoad o'r eiddo ef: yr hwn trwyddi a ddyfeisiodd ffordd i osod y rhai digofus mewn amrafael â'u gilydd, ynghylch y peth yr oeddynt yn ddig wrtho. Pa fodd bynnag fe addawodd wneuthur cyffes o'r cwbl. Ar hyn rhoddwyd cennad iddo i lefaru; pan y dywedodd, "Ni fwriedais ddanfon yr arian hyn yn ol i Agrippa, na'u meddiannu fy hun. Canys ni chyfrifais un amser neb a fyddai i chwi yn elyn yn gyfaill i mi: ac nid edrychais ar yr hyn a dueddai er eich anfantais chwi, yn fanteisiol i mi. Ond, O bobl Taricheæ, canfyddais fod eich dinas chwi yn sefyll mewn mwy angen nag eraill am amddiffynfeydd er eich diogelwch; a'i bod mewn diffyg arian i'r diben o adeiladu mur o'i hamgylch. Yr oeddwn hefyd yn ofni rhag i bobl Tiberias, a dinasoedd eraill, arfer trais i oresgyn yr yspail hwn: ac o herwydd hynny yr ydoedd ddarfod i mi fwriadu cadw yr arian hyn yn ddirgel, fel yr amgylchwn chwi â mur. Ond os nad yw hyn yn eich boddio chwi, rhoddaf gyfrif o'r hyn a ddygwyd attaf fi, ac a'i gadawaf i chwi yn yspail. Ond os ymddygais fy hun cystal ag i'ch boddloni chwi, gellwch, os tybiwch yn oreu, gospi eich cymmwynaswr."

Ar hyn pobl Taricheæ a'i huchel ganmolodd: ond y rhai hynny o Tiberias, gyd ag eraill o'r dyrfa, a roesant enwau cas arno, gan fygwth yr hyn a wnaent iddo. Felly pob ochr a adawsant ymryson â Josephus, ac a ddechreuasant ddadleu â'u gilydd. Felly efe a ymhyfhaodd oddi ar yr hyder oedd ganddo yn ei gyfeillion, y rhai oeddynt bobl Taricheæ, ac ynghylch deugain mil mewn rhifedi; ac a lefarodd yn hyfach wrth yr holl liaws; gan achwyn yn drwm arnynt am eu byrbwylltra; ac a ddywedodd wrthynt yr adeiladai â'r arian hyn furiau o amgylch Taricheæ; ac y gosodai y dinosoedd eraill mewn cyflwr o ddiogelwch hefyd. Oblegid na chai fod arnynt ddiffyg arian, os byddai iddynt ond cyttuno er budd i ba rai y defnyddid hwynt, ac na oddefent eu hunain i gymmeryd eu cythruddo yn erbyn yr hwn a'u traddodai iddynt.

Ar hyn y gweddill o'r lliaws a dwyllasid a aethant ymaith; etto felly fel ag yr oeddynt mewn gradd o ddigter. A dwy fil a honynt a ymosodasant arno yn eu harfogaeth. Ac fel yr oedd eisoes wedi myned ymaith i'w dŷ ei hun, hwy a safasant allan gan ei fygythio ef. Ar ba achos Josephus drachefn a arferodd gyfrwysedd arall i ddiangc oddi arnynt. Canys efe a esgynodd ar nenn ei dŷ ac a wnaeth arwydd â'i ddeheulaw ar iddynt ddistewi, gan ddywedyd na's gwyddai efe pa beth a geisient; pan na allai glywed pa beth a ddywedent gan sŵn y terfysg. Ond dywedodd y cydsyniai â'u gofynion, os anfonent rai o'u nifer i mewn atto i ymddiddan ynghylch eu hachos. A phan glybu y rhai pennaf o honynt, gyd â'u harweinwyr, y geiriau, hwy a ddaethant i mewn atto. Yna fe'u derbyniodd ac a'u harweiniodd i'r lle dirgelaf o'r tŷ; a chauodd ddôr y neuadd y dodasai hwynt ynddi. Wedi hyn parodd fflangellu pob un o honynt nes dinoethi eu tufewnol rannau. Yn y cyfamser y lliaws a safasant o amgylch y tŷ; ac a dybiasant fod hir ymddiddan rhyngddo â'r rhai a aethent i mewn, ynghylch yr hyn a gleimient ganddo. Yna parodd i'r drysau gael eu hagor yn ebrwydd, ac a ddanfonodd y gwŷr oll yn waedlyd allan. Yr hyn a ddychrynodd y rhai a'i bygwthiasai o'r blaen mor fawr, fel y taflasant eu harfau i lawr, ac y redasant ymaith.

Ond am Ioan ei gynfigen a chwanegodd yn fwy ar y ddiangfa hon a gafodd Josephus; ac efe a luniodd fradwriaeth newydd yn ei erbyn. Cymmerodd arno ei fod yn glaf; a thrwy lythyr fe ddymunodd ar i Josephus roddi cennad iddo i wneuthur defnydd o'r ymolchfeydd brwd ag ydoedd yn Tiberias, er adferiad i'w iechyd. Ar hyn Josephus, yr hwn hyd yma ni ddrwg-dybiodd am ddim bradwriaeth am Ioan i'w erbyn, a ysgrifenodd at lywodraethwr y ddinas, ar fod iddynt barottoi lletty ac angenrheidiau i Ioan. Pa ryw ffafr pan wnaeth unwaith ddefnydd o honi, ym mhen deuddydd fe gyflawnodd yr hyn a ddaethai yn ei gylch. Rhai a lygrodd trwy dwyll hudoliaethol, ac eraill trwy roddi arian iddynt, a'u perswadio i gilio oddi wrth Josephus. Silas, pa fodd bynnag, yr hwn a appwyntiasid yn wyliedydd y ddinas gan Josephus a ysgrifenodd atto yn ddioed, i hyspysu iddo am y bradwriaeth. Yr hon epistol wedi ei derbyn gan Josephus, fe wnaeth ymgyrch gyd â diwydrwydd mawr trwy'r holl nos, ac a ddaeth yn

brydlon yn y boreu i Tiberias. Ar ba amser y gweddill o'r lliaws a'i cyfarfuasant. Ond Ioan yr hwn a ddychymygodd nad oedd ei ddyfodiad er ei fantais ef, a ddanfonodd un o'i gyfeillion, gan gymmeryd arno ei fod yn glaf; a chan ei fod yn cael ei gyfyngu o fewn ei ystafell, ni allai ddyfod i'w gyfarch ef. Ond cyn gynted ag y cafodd Josephus bobl Tiberias ynghyd yn y Stadiam, ac yr ymdrechodd i ymddiddan â hwynt ynghylch y llythyrau a dderbyniasai Ioan, yn ddirgel a ddanfonodd rai gwŷr arfog, gan orchymmyn iddynt ei ladd ef. Ond pan welodd y bobl fod y gwŷr arfog ynghylch tynnu eu cleddyfau, hwy a waeddasant allan. Wrth ba waedd neu gri, Josephus a droes ei hun o amgylch: ac wedi canfod y cleddyfau gerllaw iddo, fe aeth ymaith gyd â brys mawr tu a glan y mor; gan adael heibio yr araith ag oedd yn myned i wneuthur wrth y bobl, ar uchelfa o chwech chufydd o uchder. Yna cymmerodd feddiant o long ag oedd yn y porthladd; ac a lammodd iddi, gyd â dau o'i warchawdlu, a hwyliasant ymaith hyd ganol y llyn.

Yn awr y milwyr ag oedd o'i du ef a gymmerasant i fynu eu harfau, ac a wnaethant ymgyrch yn erbyn y bradwyr. Ond Josephus a ofnodd rhag i ryfel cartrefol gyfodi trwy eiddigedd ychydig ddynion, ac i ddistryw gael ei ddwyn ar y ddinas. Felly fe ddanfonodd rai o'i blaid i ddywedyd wrthynt, na fyddai iddynt wneud yn rhagor, na pharottoi er eu diogelwch eu hunain; na laddent neb, ac na chyhuddent hwynt am yr achlysur a roesent o'r annhrefn. Yn ganlynol y gwŷr hyn a ufuddhasant i'w orchymmyn, ac a fuont lonydd. Ond pobl y wlad gymmydogaethol, pan y gwnaethpwyd hwy yn hyspys o'r brad hwn, ac o'r bradwriaethwr, a ymgasglasant ynghyd yn lliaws mawr i wrthwynebu Ioan. Ond efe a ragflaenodd eu hymgais, ac a ffodd ymaith i Gischala: tra'r oedd y Galileaid yn dyfod tan redeg o'u hamrywiol ddinasoedd at Josephus. Ac fel yr oeddynt yn awr wedi dyfod yn amryw filoedd o wŷr arfog, gwaeddasant allan eu bod wedi dyfod yn wrthwynebwyr i Ioan, y bradwr cyffredin yn erbyn eu hachos, ac a fynnent ar yr un amser ei losgi ef, a'r ddinas honno a'i derbyniasai. Ar hyn Josephus a ddywedodd, ei fod yn cymmeryd eu hewyllys da tu ag atto ef yn garedig: ond etto fe attaliodd eu cynddeiriogrwydd, ac a amcanodd ddarostwng ei elynion trwy ymddygiad pwyllog, yn hytrach nag wrth eu lladd hwynt.

Felly fe ddisgwyliodd y rhai hyny o bob dinas a unasai yn y gwrthwynebiad yma yn erbyn Ioan, wrth eu henwau, y rhai yn barodawl a ddangoswyd iddo gan y rhai a ddaethent o bob dinas; ac a barodd wneuthur cyhoeddiad cyffredinol, y byddai i eiddo y rhai nid ymadawent â Ioan gael eu cymmeryd yn mhen pum niwrnod o amser: ac y llosgid eu tŷau, a'u teuluoedd ynddynt ynghyd, â thân. Ar yr hyn y darfu i dair mil o bleidwyr Ioan ei adael yn uniongyrch: y rhai a ddaethant at Josephus, ac a fwriasant eu harfau i lawr wrth ei draed. Yna Ioan a ymroddodd ei hun, ynghyd â'i ddwy fil o Syriaid ffoadnraidd, oddiwrth gynnygiad cyhoeddus, i arfer ffyrdd mwy dirgel o fradwriaeth. Yn ganlynol fe ddanfonodd negeseuwyr ynguddiedig i Jerusalem i gyhuddo Josephus, megis un ag awdurdod ormodol ganddo: ac i adael iddynt wybod y deuai yn fuan, fel gormeswr, i'w prif-ddinas, oddigerth iddynt ei ragflaenu. Ond y cyhuddiad hwn oedd yn adnabyddus i'r bobl ym mlaen llaw, y rhai ni wnaethant ddim sulw o hono. Pa fodd bynnag, rhai gwŷr mawrion oddiar genfigen, a rhai o'r llywodraethwyr hefyd, ddanfonasant arian i Ioan yn ddirgel, fel y galluogid ef i gasglu ynghyd filwyr cyflogedig, i'r diben i ymladd â Josephus. Lluniasant hefyd orchymmyn o'r eiddynt eu hunain i'w alw yn ol o'i lywodraeth. Etto ni thybiasant y gorchymmyn hwnw yn ddigon: felly hwy a ddanfonasant ymhellach, ddwy fil a phum cant o wŷr arfog: a phedwar o bersonau mwyaf godidog yn eu mysg: Joazar, mab Nomicus; Ananias, mab Sadduc; a Simon a Judas, meibion Jonathan; pob un o honynt yn wŷr medrus i ymadroddi; fel y byddai i'r personau hyn dynnu ewyllys da y bobl oddiwrth Josephus. I'r rhai hyn y gorchymmynwyd, os deuai gyd â hwynt yn ewyllysgar, y caniattaid iddo ymddangos i roddi cyfrif am ei ymddygiad: ond os penderfynai yn wrthnysig i barhau yn ei lywodraeth, ar fod iddynt ei drin ef megis gelyn. Yn awr cyfeillion Josephus a ddanfonasant iddo air fod byddin yn dyfod yn ei erbyn: ond ni roesant hyspysrwydd blaenorol iddo am yr

achos o'u dyfodiad; am fod y pethau hynny yn adnabyddus yn unig i ddirgel gyngor ei elynion. A thrwy'r moddion hyn y bu i bedair o ddinasoedd droi oddi wrtho yn ebrwydd; Sepphoris, Gamala, Gischala, a Thiberias. Etto fe adferodd y dinasoedd hynny heb ddim rhyfel. Ac wedi iddo ddadymchwel y pedwar blaenoriaid hyn trwy gyfrwysedd, a chymmeryd y rhai mwyaf grymmus o'u milwyr, efe a'u hanfonodd i Jerusalem. A phobl Galilea oeddynt dra digllon wrthynt; ac a oeddynt o dymmer mor danbaid ag y mynnent ladd, nid yn unig y linoedd hyn, ond y rhai a'u danfonasent hefyd, pe na buasai iddynt ragflaenu hynny trwy ffoi ymaith.

Yn awr Ioan a gadwyd ar ol hynny o fewn muriau Gischala, trwy'r ofn ag ydoedd ynddo o Josephus. Ond ym mhen ychydig ddyddiau Tiberias a wrth-drodd drachefn: a'r bobl oedd ynddi a wahoddasant y brenin Agrippa i ddychwelyd i arfer ei awdurdod yno. A phan na ddaeth ar yr amser appwyntiedig; ac wedi i ychydig o wŷr meirch Rhufeinig ymddangos y dydd hwnnw, bwriasant Josephus allan o'r ddinas. Yn awr y gwrth-dro hwn o'r eiddynt a wybuwyd yn fuan yn Taricheæ. Ac fel yr oedd Josephus wedi anfon allan yr holl filwyr oedd gyd ag ef i gasglu llafur ynghyd, ni's gwyddai pa fodd i fyned allan ei hun yn erbyn y gwrthwynebwyr, neu i aros lle'r ydoedd: am ei fod yn ofni rhag ei rwystro gan filwyr y brenin os arosai, a myned o honynt i mewn i'r ddinas. Canys ni fwriadodd wneuthur dim y dydd nesaf, oblegid mai'r Sabboth ydoedd, ac y rhwystrai ei fynediad ym mlaen. Felly fe ddyfeisiodd ddyrysu'r gwrth-dröwyr trwy gyfrwysedd. Ac yn y lle cyntaf fe orchymmynodd i byrth Taricheæ gael eu cau, fel na byddai i neb fyned allan, a mynegi i bobl Tiberias, ar gyfrif pa rai yr arferodd y ddyfais ag oedd yn ei chylch. Yna y casglodd ynghyd y llongau oedd ar y llyn, y rhai a gafwyd eu bod yn ddau cant a deg ar hugain o rifedi: ac ym mhob un o honynt ni ddododd ychwaneg na deg o forwyr. Felly fe fordwyodd i Tiberias gyd â brys; ac a gadwodd y fath bellder oddiwrth y ddinas, fel nad oedd yn hawdd i'r bobl ganfod y llestri: ac efe a barodd fod i'r llestri gweigion nofio i fynu ac i wared yno; tra fyddai ei hun, a saith o'i warchawdlu yn unig gyd ag ef: a'r rhai'n yn anarfog hefyd, yn myned mor agos ag y gellid ei weled ef. Ond wedi i'w wrthwynebwyr, y rhai oeddynt etto yn ei waradwyddo ef, ei ganfod oddiar y muriau, fe'u meddiannwyd â'r fath syndod fel y tybiasant fod yr holl longau yn llawn o wŷr arfog; ac a daflasant eu harfau i lawr; a thrwy arwyddion o erfyniad deisyfiasant arno arbed y ddinas.

Ar hyn Josephus a'u bygythiodd yn arswydus; ac a'u gwaradwyddodd, gan eu bod hwy yn rhai cyntaf a gymmerasant i fynu arfau yn erbyn y Rhufeiniaid, eu bod yn treulio eu nerth ym mlaen llaw mewn ymraniadau cartrefol; a gwneuthur yr hyn a ddymunai eu gelynion o flaen pob peth: ac heblaw hyn, am ddarfod iddynt ymdrechu gyd â'r fath frys i'w gymmeryd ef, yr hwn oedd yn gofalu am eu diogelwch; ac na fu gywilydd ganddynt i gau pyrth eu dinas yn erbyn yr hwn a adeiladasai ei muriau: ond y byddai iddo, pa fodd bynnag, dderbyn unrhyw eiriolaeth trwy gennadwyr, ag a wnaed er eu hesgusodiad atto ef; â pha rai y gwnelai y fath guttundeb ag a fyddai er diogelwch eu dinas. Ar hyn deg o'r gwŷr pennaf a ddaeth i wared atto yn ddioed. Ac wedi eu cymmeryd hwy i un o'i longau, gorchymmynodd eu dwyn hwynt ymaith i bellder oddiwrth y ddinas. Yna fe archodd fod i ddeg a deugain eraill o'u senedd, y fath ag a gyfrifid yn fwyaf enwog, i ddyfod atto ef; fel y rhoddent hwy hefyd ryw sicrwydd iddo ymherthynas i'w hymddygiad. Ar ol hyn, tan liw o esgusodion eraill, galwodd am ychwaneg allan, y naill ar ol y llall, i wneud cyngrair rhyngddynt. Rhoddodd yn ol hyn orchymmyn i feistriaid y llestri hynny a lanwasai y modd hwn i fordwyo ymaith yn uniongyrch i Taricheæ, a thraddodi y gwŷr hyn yno yngharchar. Nes o'r diwedd gymmeryd o hono eu holl senedd, yn cynnwys chwe chant o bersonau; ac ynghylch dwy fil o'r cyffredin bobl; y rhai a ddygodd oll i Taricheæ.

Ac wedi i'r rhan arall o'r bobl lefain allan, mai un Clitus ydoedd brif-awdwr y gwrthwynebiad hwn; ac a ddymunasant arno dreulio ei ddigter arno ef yn unig. Ond Josephus, bwriad pa un nid oedd i ladd neb, a orchymmynodd i un Levius, a berthynai i'w warchawdlu, fyned allan o'r llong, a thorri ymaith bob un o ddwylaw Clitus. Etto Levius a ofnodd, ac a wrth-

ododd fyned allan ei hun i blith y fath gorph mawr o elynion. Yn awr Clitus a ddeallodd fod Josephus mewn tymmer danbaid tu ag atto yn y llong, ac yn barod i neidio allan o honi ei hun i gyflawni'r gosp. Fe ddeisyfodd gan hynny arno oddiar y lan, ar adael o hono iddo un o'i ddwylaw, yr hyn a gyttunodd Josephus iddo, ar yr ammod iddo dorri y llaw arall ei hun. Yn ganlynol fe dynnodd allan ei gleddyf, ac â'i law ddehau a dorrodd ymaith yr un aswy. Mor fawr oedd yr ofn ag ydoedd ynddo o Josephus. Ac fel hyn y cymmerodd bobl Tiberias yn garcharorion; ac a adferodd y ddinas drachefn, â llongau gweigion, ac â saith o'i warchawdlu. Ymhellach, ychydig ddyddiau yn ol hynny fe ad-gymmerodd Gischala, y rhai a wrthgiliasent gyd â phobl Sepphoris; a rhoddodd gennad i'w filwyr ei difrodi hi. Etto fe gasglodd yr holl yspail ynghyd, ac a'u hadferodd i'r trigolion: a'r cyffelyb a wnaeth â phreswylwyr Sepphoris, a Thiberias. Canys wedi iddo ddrostwng y dinasoedd hynny, ei feddwl ydoedd, trwy adael iddynt gael eu hyspeilio, i gyfrannu rhyw addysg dda iddynt; tra ar yr un amser yr ynnillodd eu hewyllys da trwy adferyd iddynt eu heiddo drachefn.

### PENNOD XXII.

*Yr Iuddewon yn ymbarottoi erbyn y rhyfel; a Simon, mab Gioras yn dechrau anrheithio.*

FEL hyn y darfu i derfysgoedd Galilea gael eu llonyddu: a'r bobl wedi gadael heibio eu hymryson cartrefol, a ymroesant eu hunain i wneuthur parattoad erbyn myned i ryfel â'r Rhufeiniaid. Yn awr yn Jerusalem, yr archoffeiriad Ananus, a chynnifer o'r gwŷr o awdurdod a'r nad oeddynt tan rwymau i'r Rhufeiniaid, a adgyweiriasant y muriau, ac a wnaethant lawer o offerynau rhyfel. Yn gymmaint ag yr oedd ym mhob cwrr i'r ddinas biccellau, a phob rhyw arfogaeth arall ar yr einion: er bod y lliaws o ddynion ieuaingc wedi ymrwymo mewn ymarferiadau milwraidd yn annhrefnus: a phob mannau yn llawn gweithrediadau terfysglyd. Ond y rhai ystyriol oeddynt yn dra thrist. A llawer oddi ar yr olwg o'r trallodion oedd yn dyfod arnynt, a wnaethant wylofain mawr. Daliwyd sulw hefyd ar y fath arwyddion ag a ddeallwyd eu bod yn rhagfynegiad o ddrygau oedd i ddyfod, gan y rhai oedd yn caru heddwch: ond gan y rhai a ennynent y rhyfel, fe'u dehonglwyd yn ol eu hewyllysiau eu hunain. Yr oedd cyflwr y ddinas, ïe cyn i'r Rhufeiniaid ddyfod i'w herbyn, yn debyg i'r hyn a berthynai i le ag oedd wedi ei farnu i ddinystr. Pa fodd bynnag, Ananus a ofalodd tros amser i osod heibio ymbarottoad i ryfel, ac i berswadio 'r ymrysonwyr i ystyried eu lleshâd eu hunain; ac i attal cynddaredd y rhai brwd yn yr achos hwnnw. Ond eu ffraethineb oedd ry galed iddo. Ac i ba ddiwedd y daeth efe rhag llaw, nyni a adroddwn yn* ganlynol.

Ond am dalaith † Acrabene, Simon, mab Gioras, a gafodd nifer mawr o'r rhai chwannog i wrthryfel ynghyd, ac a ymroddodd i wneuthur difrod o'r wlad: ac ni ddarfu iddo yn unig ymosod ar dai gwŷr cyfoethog, ond hefyd gystuddio eu cyrph; ac a ymddangosodd yn amlwg megis yn hoffi gorthrymder yn ei lywodraeth. Ac wedi i fyddin gael ei danfon i'w erbyn gan Ananus, a'r llywyddion eraill, efe a'r eiddo a giliasant at yr yspeilwyr oedd yn Masada, gan aros yno, ac yspeilio gwlad Idumea gyd â hwynt, nes bod Ananus, a'i gaseion eraill wedi eu lladd; ac nes bod llywodraethwyr y wlad honno yn y fath flinder, o herwydd lliaws y rhai a laddwyd, a'r difrod parhaus a wnaethent, fel y darfu iddynt gyfodi byddin, a dodi gwersylloedd yn y pentrefi, i'w diogelu rhag y niweid a dderbynient. A thyma 'r dull yr oedd amgylchiad Judea ynddo y pryd hwnnw.

* Gwel Llyfr IV. pen. 5. † Hynaf. XII. 1.

---

## LLYFR III.

*Yn cynnwys Amseriad o gylch Un Flwyddun.*

O DDYFODIAD VESPASIAN I DDAROSTWNG YR IUDDEWON, HYD GYMMERIAD GAMALA.

## PENNOD I.

*Vespasian yn cael ei ddanfon i Syria gan Nero; mewn trefn i wneud rhyfel yn erbyn yr Iuddewon.*

WEDI i Nero gael hyspysrwydd am aflwyddiant y Rhufeiniaid yn Judea, braw a dychryn dirgelaidd, fel y mae'n arferol yn y fath amgylchiad, a syrthiodd arno ef: er ei fod yn yr amlwg yn ymddangos yn dra chefnog, ac yn eithaf digllon: gan ddywedyd fod yr hyn a ddigwyddodd yn hytrach i'w gyfrif i esgeulustra'r blaenoriaid, nag i wrolder y gelyn. Ac fel y tybiodd yn addas iddo ef, yr hwn a ddygodd faich yr holl ymerodraeth, i ddiystyru y fath anhap, cymmerodd arno yn awr wneuthur hynny, ac i fod a chanddo enaid uwchlaw tristau am y cyfryw ddamweiniau. Etto darfu i'r aflonyddwch ag oedd yn ei feddwl ymddangos yn eglur trwy'r gofal oedd arno am wybod pa fodd i adferyd ei achosion eilwaith.

Ac fel yr oedd yn ystyried i bwy yr ymddiriedai ofal y dwyrain, megis ag yr oedd yn awr yn y fath gyffro, a phwy a fyddai allnoccaf i gospi'r Iuddewon am eu gwrthryfel; ac a ragflaenai yr un annhrefn ym mysg cenedlaethau cymmydogol hefyd; ni chafodd neb amgen na Vespasian o gymmwysderau cydradd â'r gorchwyl; ac yn allnog i fyned tan y baich mawr o gymmeryd rhyfel mor bwysig arno: gan ei fod wedi tyfu mewn oedran eisoes yn y gwersyll; ac o'i ieuengctyd yn ymarfer â gorchwylion rhyfel. Yr ydoedd hefyd yn un a heddychodd y gorllewin er's hir amser, ac wedi ei gwneud yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid, yn ol y terfysg a wnaethid gan yr Ellmyn. Yr ydoedd hefyd trwy arfau wedi adferyd Brydain, yr hon ychydig o'r blaen oedd yn anadnabyddus. * Trwy'r hyn yn eunillodd i'w dad yr enw o fuddugoliaethwr, heb ddim ymdrech neu lafur o'r eiddo ei hun.

Felly Nero a gyfrifodd yr amgylchiadau hyn yn arwyddion manteisiol: ac a welodd fod oedran Vespasian yn peri iddo feddiannu profiad a chyfarwyddyd: a chanddo ei feibion yn wystlon o'i ffyddlondeb iddo ei hun; ac y byddai i'r oedran blodeuog yr oeddynt ynddo eu gwneud yn offerynau cymmwys tan olygiad call eu tad. Ysgatfydd hefyd fod rhyw law gan ragluniaeth yn trefnu ffordd i Vespasian i fod yn ymerawdwr ei hun ar ol hynny. Trwy'r cwbl fe ddanfonodd y gŵr hwn i gymmeryd arno lywodraeth y byddinoedd yn Syria. Ond ni bu hyn heb uchel-foli a gwenhieithio llawer iddo, fel yr oedd angenrheidrwydd yn gofyn, a'r fath foddion i gael eu harfer ag a'i hynnillai i gydsyniad. Felly Vespasian a ddanfonodd ei fab Titus o Achaia, lle'r aethai gyd â Nero i Alexandria, i ddychwelyd oddi yno gyd ag ef y bummed a'r ddegfed leng o filwyr, tra fyddai efe ei hun, wedi myned tros yr Helespont, yn dyfod ar hyd y tir i Syria, lle y casglodd ynghyd y byddinoedd Rhufeinig, gyd â nifer mawr o gynnorthwyadon oddiwrth frenhinoedd cymmydogaethol.

## PENNOD II.

*Am laddfa fawr ar yr Iuddewon o amgylch Ascalon: a dyfodiad Vespasian i Ptolemais.*

YN awr yr Iuddewon wedi iddynt orchfygu Cestius, a dderchafwyd yn eu meddyliau mor fawr trwy eu llwyddiant annisgwyladwy, fel na allent lywodraethu eu sêl: ond fel pobl wedi eu chwythu i fynu yn eirias-dân trwy'r llwydd a gawsent, a aethant i ddwyn y rhyfel ym mlaen mewn lleoedd mwy pellennig. Yn ganlynol hwy ar fyrder a gawsant liaws mawr o'u milwyr mwyaf dewrwych ynghyd, ac a gyrchasant ymaith i Ascalon. Dinas hynafol ydoedd hon, yn bum cant ac ugain o 'stadau oddiwrth Jerusalem, a phob amser mewn gelyniaeth â'r Iuddewon. Ar ba gyfrif hwy a benderfynasant wneuthur eu cynnygiad cyntaf i'w herbyn; ac i beri i'w nesbad atti fod mor agos ag oedd bossibl. Yr ymgyrch hwn a arweiniwyd gan dri o wŷr pennaf yn eu mysg, o ran grymmusder a challineb: Niger, a elwid y Peread; Silas o Babilon; ac Ioan yr Esseniad. Yn awr Ascalon oedd â mur cadarn o'i hamgylch; ond heb ganddynt ddim cynnorthwy yn agos attynt a allent hyderu arno. Canys y gwersyll oedd gynnwysedig o un cohort neu lû o wŷr traed, a llû o wŷr meirch; cadben pa rai oedd Antonius.

* Cymmerwch gadarnhad o hyn yngeiriau Suetonius, a ddygir yma gan Dr. Hudson. "Yn nheyrnasiad Claudius," eb efe, "Vespasian, er mwyn Nacissus, a ddanfonwyd yn arweinydd lleng o filwyr i'r Allmaen neu Germany. Oddi yno fe summudodd i Frydain; ac a ymladdodd ddeg ar hugain brwydr â'r gelyn." Gallwn hefyd nodi yma, allan o Josephus, ddarfod i Claudius yr ymerawdwr, yr hwn a lawenychodd am fuddugoliaeth ar y Bruttaniaid, fod yn allnog i wneuthur hynny trwy wrolder a doeth-ymddygiad Vespasian; a'i fod yn cael ei a w yma yn dad Vespasian,

Yr Iuddewon yma gan hynny, oddiar eu digter, a gyrchasant gyd â mwy o frŷs nag arferol: ac megis pe daethant ond o ychydig ffordd, a nesasant yn dra agos at y ddinas, a daethant hefyd i'w mewn. Ond Antonius, yr hwn nid oedd heb radd o wybodaeth am eu dyfodiad, a dynnodd allan ei wŷr meirch ym mlaen llaw. Ac heb arswydo wrth liaws, na chefnogrwydd y gelyn, fe wnaeth dderbyniad o'u hymosodiad cyntaf gyd â gwrolder mawr: a phan ddaethant yn dorfeydd hyd at y muriau, efe a'u curodd ymaith. Yn awr yr oedd yr Iuddewon yn anfedrus mewn rhyfel; ond yr oeddynt i ymladd â rhai â medr ynddynt; gwŷr traed oeddynt hwy, yn ymladd â gwŷr meirch: yr oeddynt mewn annhrefn yn myned i ymdrechu â rhai wedi eu trefnu ynghyd i'r frwydr: tlawd oeddynt o arfogaeth i ymladd â rhai cyflawn o arfau: daethent i ymladd yn fwy wrth eu cynddaredd, na thrwy gyngor pwyllog: a gosodent eu hunain yn noeth i rymmusder milwraidd rhai ufudd i'w blaenoriaid, ac a wnaent bob peth fel y perid iddynt ar yr arwydd lleiaf. Felly hwynt-hwy yn hawdd a gurwyd. Canys cyn gynted ag yr aeth eu rhesau cyntaf i annrhefn, hwy a ddodwyd i ffoi gan wŷr meirch y gelyn: a'r rhai o honynt a ddaeth o'r tu ol gan ymdyrru at y muriau, a syrthiasant ar arfau eu pleidwyr eu hunain, ac a aethant yn elynion eu gilydd: a hyn tros y fath yspaid o amser nes iddynt oll gilio o ffordd y gwŷr meirch, a gwasgaru tros yr holl wastadedd; yr hwn wastadedd oedd lydan, a chyfleus i farchogion. Yr amgylchiad hwn a fu yn dra manteisiol i'r Rhufeinwyr, ac yn achos o laddfa y nifer fwyaf o'r Iuddewon. Canys y rhai a redent ymaith hwy a achubent y blaen, ac a barent iddynt ddychwelyd. A phan ddychwelent yn ol wedi eu ffoedigaeth, a'u tyrru ynghyd, hwn a'u rhedent trwodd â chleddyfan, a lladdasant lawer y modd hwnnw; fel yr amgylchynwyd y naill dorf gan y llall; a'r Rhufeiniaid a'u gyrrent o'u blaen i ba le bynnag y troent, ac a'u difethasant yn hawdd â'u saethau: ac i'r rhifedi mawr oedd yno o'r Iuddewon, fe ymddangosodd hyn megis yn anghyfannedd-dra trwy'r cyfyngder yr oeddynt ynddo. Pan oedd y Rhufeiniaid wedi cael y fath lwyddiant â'u rhifedi bychan, ac yr ymddangosasant iddynt eu hunain yn lliaws mwyaf. Ac fel yr oedd y rhai cyntaf yn ymdrechu yn egnïol tan eu hafl-wyddiant oddi ar gywilydd o ffoedigaeth ddisymmwth, a chan ddisgwyl am well digwyddiad: felly ni theimlodd y rhai diweddaf ddim blinder, trwy y rhwydd-deb a'r llwydd a fwynhasant. Yn gymmaint ag i'r ymladdfa barhau hyd yr hwyr; a deng mil o'r Iuddewon a orweddasant yn feirwon: gyd â dau o'u cad-flaenoriaid, Ioan a Silas: a'r rhan fwyaf o'r gweddill o honynt a glwyfwyd, gyd â Niger, eu blaenor gweddilledig; y rhai a gyd-ffoisant ymaith i ddinas fechan o Idumea, a elwid Sallis. Rhyw ychydig o'r Rhufeiniaid a glwyfwyd yn y frwydr hon.

Etto nid oedd ysprydoedd yr Iuddewon wedi llaesu o herwydd y trychineb hwn: ond y golled a gawsant yn hytrach a awchlymmodd eu hymröad i wneuthur cynnygiadau eraill. Canys gan edrych heibio i'r cyrph meirwon oedd yn gorwedd tan eu traed, hwy a ddenwyd trwy eu buddugoliaethau gynt i anturio ar ail ddinystr. Felly wedi gwneuthur cyn lleied o arhosiad, fel nad oedd eu harchollion etto wedi eu cwbl iachau; casglasant ynghyd eu holl fyddinoedd, ac a ddaethant gyd â mwy o gynddaredd, a llawer lliosccach nifer at Ascalon. Ond eu haflwyddiant o'r blaen a'u dilynodd hwynt; fel canlyniad o'u hanfedrusrwydd, a'u diffygion eraill mewn rhyfel. Canys Antonius a osododd gynllwyn iddynt yn y tramwyfeydd ag oeddynt i fyned trwyddynt: lle y syrthiasant i faglau yn annisgwyladwy; a lle'r amgylchynwyd hwy gan wŷr meirch, cyn iddynt allu trefnu eu hunain yn un corph rheolaidd i ymladd; a lladdwyd o honynt yn awr uwchlaw wyth mil. Felly y gweddill o honynt oll a ffoisant ymaith: a chyd â hwynt Niger; yr hwn etto a wnaeth amryw ddrygau yn ei ffoedigaeth. Pa fodd bynnag hwy a gydyrrid ym mlaen gan y gelynion, y rhai oedd yn gwasgu yn drwm arnynt, fel yr aethant i mewn i dŵr cadarn, yn perthynu i ryw bentref a elwid Bezedel. Pa fodd bynnag, Antonius a'i blaid, fel na threulient amser hir ynghylch y tŵr hwn, ag oedd yn anhawdd ei gymmeryd; na goddef i'w blaenor, na'r rhai cefnoccaf eraill o honynt oll i ddiangc rhagddynt, gosodasant y tŵr ar dân. Ac fel yr ydoedd yn llosgi, y Rhufeiniaid a aethant ymaith tan orfoleddu; gan ei gymmeryd yn ganiattaol y byddai i Niger gael ei ddifetha. Ond efe a lammodd allan o'r tŵr

i ogof tan-ddaearol, yn ei gwrr eithaf, ac a achubwyd. Ac ar y trydydd dydd ar ol hynny fe lefarodd, o tan y ddaear, gyd ag wylofain mawr ar y rhai oedd yn chwilio am dano i'w gladdu ef. Ac wedi ei gael allan, fe lanwodd yr holl Iuddewon â llawenydd annisgwyladwy, fel pe buasai wedi ei waredu gan ragluniaeth Duw i fod yn flaenor iddynt mewn amser i ddyfod.

Yn awr Vespasian a gymmerodd ei fyddin gyd ag ef o Antioch, (yr hon yw prif-ddinas Syria, ac yn ddi-ddadl a haeddai ei chyfrif yn* drydedd dinas y ddaear gyfanneddol tan yr ymmerodraeth Rufeinaidd, yn gystal o ran maintioli, a nodau llwyddianus eraill,) lle y cafodd y brenin Apríppa, gyd â'i holl fyddinoedd, yn disgwyl am ei ddyfodiad, ac a wnaeth gyrchfa oddi yno i Ptolemais. Yn y ddinas hon hefyd trigolion Sepphoris yn Galilea a'i cyfarfuant ef, y rhai oeddynt am heddwch â'r Rhufeiniaid. Y dinasyddion hyn ym mlaen llaw a ofalasent am eu diogelwch eu hunain: a chan ystyried nerth y Rhufeiniaid, buasent gyd â Cestius Gallus, cyn dyfodiad Vespasian; a rhoddasent iddo ef eu ffydd, a derbyn o honynt sicrwydd ei ddeheulaw, a chymmeryd attynt wersyll Rhufeinig. Ac ar yr amser hwn rhoddasant dderbyniad tra chroesawus i Vespasian, y cad-flaenor Rhufeinaidd, gan addaw ei gynnorthwyo gyd â pharodrwydd yn erbyn eu cydwladwyr eu hunain. Yn awr y penciwdawd Rhufeinig a roddodd iddynt, wrth eu dymuniad, gynnifer o wŷr meirch a gwŷr traed ag a feddyliodd yn ddigonol i wrthsefyll rhuthriadau yr Iuddewon, os deuent yn eu herbyn. Ac yn wir y perygl o golli Sepphoris nid ydoedd beth bychan yn y rhyfel hwn, ag oedd yn awr ar dechrau; wrth ystyried mai'r ddinas fwyaf ydoedd yn Galilea, ac wedi ei hadeiladu mewn lle ag ydoedd wrth natur o gadernid mawr; ac a allai fod yn ddiogelfa ffyddlondeb yr holl genedl i'r Rhufeiniaid.

## PENNOD III.

*Yn cynnwys descrifiad o Galilea, Samaria a Judea.*

Yn awr Phœnicia, a Syria, ydynt yn cwmpasu o amgylch Galilea, yr hon a rennir yn ddwy, ac a elwir yn Galilea Uchaf, ac Isaf. Maent yn terfynu tu â chodiad haul â thiriogaeth perthynol i Ptolemais, a chan Carmel: yr hwn fynydd a berthynai gynt i'r Galileaid, ond yn awr sydd ym meddiant y Tyriaid. A'r mynydd hwn y mae Gaba yn cyssylltu, yr hon a elwir dinas y marchogion: o herwydd i'r gwŷr meirch a ollyngwyd ymaith gan Herod frenin wneud eu preswylfa yno. Hwy a derfynir o'r tu dehau gan Samaria a Scythopolis, cyn belled ag afon yr Iorddonen. O du'r dwyrain â Hippene a Gadaris; ac hefyd â Gaulanitis, a therfynau teyrnas Agrippa. Ei thu gogleddol a derfynir gan Tyre, a gwlad y Tyriaid. Am y Galilea honno a elwir yr Isaf, mae'n cyrraedd mewn hyd o Tiberias i Zabulon; ac o'r lleoedd mordwyol, † Ptolemais sydd yn gymmydogawl iddi. Ei lled sydd o'r faes-dref a elwid Xaloth, yr hon sy'n gorwedd yn y gwastadedd mawr, cyn belled a Bersabe. O ba ddechreuad hefyd y cymmerir lled y Galilea uchaf, cyn belled a'r faes-dref Baca, yr hon sydd yn rhannu gwlad y Tyriaid oddi wrthi. Ei hyd hefyd sydd o Meroth i Thilla, maes-dref gyfagos i'r Iorddonen.

Y ddwy Galilea hyn, a hwy o'r fath faintioli, ac wedi eu hamgylchu â chynnifer o genedlaethau o ddieithriaid, a fuont yn alluog bob amser i wneud gwrthwynebiadau cedyrn yn amser rhyfeloedd: canys y Galileaid a gynnefinir i ryfel o'u hieuengctyd; ac a fuont bob amser yn dra lliosog. Ac ni fu'r wlad un pryd yn wag o ddynion gwrol, nac yn ddiffygiol o liosowgrwydd o honynt. Canys eu tir sydd yn gyffredin yn ffrwythlon, ac yn llawn planhigion coed o bob math. Yn gymmaint ag y mae yn cymmell y rhai mwyaf eu syrthni i ddiwydrwydd yn ei llafuriad trwy ei ffrwythlondeb. Yn ganlynol hi a lafurir oll gan ei phreswylwyr; ac nid oes un cwrr iddi yn aros yn ddi-driniaeth. Y dinasoedd hefyd ydynt yn gorwedd yma yn dra aml: a'r mynych bentrefi sydd ynddi ydynt ymhob lle mor llawn o bobl, o herwydd brasder y tir; a'r rhai lleiaf o honynt ‡ yn cynnwys uwchlaw pymtheng mil o drigolion.

Yn fyrr, os cyfrif neb fod Galilea islaw Perea

* Spanheim a Reland sydd bob un yn cyttuno, am y ddwy ddinas a gyfrifir yma yn fwy nag Antioch, mam-ddinas Syria; un o honynt ydoedd Rhufain, ac Alexandria yr un arall. Ac nid oes achos ammeu peth mor eglur a chadarnhaol.

† Unwaith yn perthynu i lwyth Aser: ond ar ol hynny yn fath o ddinas Genhedlig.

‡ Y rhai hyn ysgatfydd oeddynt ddinasoedd, nid pentrefydd.

mewn ehangder, bydd yn rhwym i'w chydnabod yn blaenori arni mewn cadernid: canys y mae hon i gyd yn addas i'w llafurio, ac ymhob cwrr yn ffrwythlon. Ond am Perea, yr hon sydd yn wir yn llawer helaethach, etto rhan o honi sydd yn ddiffeithwch, yn arw, ac yn fwy anghymmwys i ddwyn cnydiau puraf, a ffrwythau pereiddiaf. Etto y mae iddi diroedd breision mewn parthau eraill, ac yn dwyn pob rhyw ffrwythau. A'i gwastadedd a blennir â choed o amrywiol fath: ond yr olewydd, y gwinwydd a'r palmwydd a dyfant yn fwyaf yno. Y mae hefyd yn cael ei ddyfrhau yn ddigonol â ffrydiau dwfr ag sy'n rhedeg o'r mynyddoedd, ac â ffynhonnau nad ydynt fyth yn sychu i fynu, ïe pan fetho'r ffrydiau yn nyddiau'r cŵn. Yn awr hyd Perea sydd o Macherus i Pella; a'i lled o Philadelphia i'r Iorddonen. Ei pharthau gogleddol a derfynir gan Pella, fel y dywedasom eisoes, yn gystal â'i pharthau gorllewinol gan yr Iorddonen. Tir Moab yw ei therfyn deheuol; a'i therfynau dwyreiniol a gyrhaeddant hyd Arabia a Silbonitis; ac heblaw i Philadelphine a Gerasa.

Yn awr ymherthynas i wlad Samaria, y mae yn gorwedd rhwng Judea a Galilea. Ei dechreuad sydd mewn pentref yn y gwastadedd mawr a elwid Ginea; a'i diweddiad sydd ar derfynau talaith Acrabane: ac y mae'n gwbl o'r un naturiaeth o ran ei thir a Judea. Canys pob un o'r gwledydd hyn sydd wedi eu gwneud i fynu o fynyddau a dyffrynoedd; yn addas i'w llafurio, ac yn dra ffrwythlon. Y mae digonedd o goed ynddynt, ac yn llawn o ffrwythau'r Hydref; yn gystal y rhai sydd yn tarddu o honynt eu hunain; a'r rhai sydd yn effaith llafuriad. Ni ddwfrheir hwynt o naturiaeth â llawer o afonydd; ond y maent yn derbyn eu lleithder yn bennaf oddiwrth gawodydd gwlaw, yr hyn nid ydynt mewn diffyg o hono. Ac am yr afonydd hynny sydd ganddynt, eu holl ddyfroedd ydynt yn dra pheraidd. Trwy yr achos hefyd o'r glaswellt odiaethol sydd yno, eu gwartheg blithion a roddant fwy o laeth na rhai o fannau eraill. A'r hyn sydd yn arwydd pennaf o'u daioni a'u llawnder, y maent bob un yn gyflawn o drigolion.

Ar derfyn Samaria a Judea y gorwedd y pentref Anuath, yr hwn a elwir hefyd Borceos. Dyma derfyn gogledd Judea. Parthau deheuol Judea, os mesurir hwynt y ffordd hwyaf, a derfynir gan bentref cyssylltedig â chyffiniau Arabia. Yr Iuddewon a drigant yno a'i galwant Iorddonen. Pa fodd bynnag ei lled a gyrraedd o afon yr Iorddonen hyd Joppa. Y ddinas Jerusalem sydd â'i sefyllfa yn y canol rhyngddynt. Ar ba gyfrif rhai, â challineb ddigon ganddynt, a alwasant y ddinas honno, Bogail y wlad. Ac yn wir nid yw Judea yn amddifad o'r fath fanteision ag sy'n dyfod o'r môr; pan y mae eu lleoedd morwrawl yn cyrraedd hyd yn Ptolemais. Fe'i rhennid yn un ar ddeg o ddosparthiadau. O ba rai y frenhinol ddinas Jerusalem oedd y bennaf; yn llywio yr holl wlad gymmydogawl, megis y mae'r pen yn llywio'r corph. Am y dinasoedd eraill yr oeddynt islaw iddi; yr oeddynt hwy yn blaenori yn eu taleithiau eu hunain. Gophna ydoedd yr ail o'r dinasoedd hynny; a'r nesaf at honno Acrabatta: ar eu hol hwynt Thamna, Lydda, Emmaus, Pella, Idumea, Engaddi, Herodium, a Jericho: ac ar eu hol hwynt Jamnia a Joppa; megis yn llywodraethu ar y bobl gymmydogaethol. Ac heblaw y rhai hyn yr ydoed * talaith Gamala, Gaulanitis, Batanea a Thraconitis, y rhai ydyw parthau teyrnas Agrippa. Y wlad ddiweddaf hon sydd yn dechrau wrth fynydd Libanus, a ffynhonnau'r Iorddonen: ac yn ymestyn mewn lledander at lyn Tiberias; ac sydd mewn hyd yn cyrraedd at bentref a elwir Arpha, cyn belled a Julias. Ei phreswylwyr sydd gymmysgedig o Iuddewon a Syriaid. A'r modd hwn y darfu i mi gyd â phob byrdra ag oedd bosibl ddesgrifio gwlad Judea, a'r rhai sydd o'i hamgylch.

## PENNOD IV.

*Josephus yn gwneud ymosodiad ar Sepphoris, ond a wrthwynebir. Titus yn dyfod â byddin fawr i Ptolemais.*

YN * awr y cynnorthwyadon milwraidd a ddanfonwyd i amddiffyn pobl Sepphoris, a hwy yn fil o wŷr meirch, a chwe mil o wŷr traed, tan Placidus y tribun, a wersyllasant yn ddau gorph yn y † gwastadedd mawr. Y gwŷr traed a ddodwyd yn y ddinas i fod yn warch-

* B. A. 67. † Yr ydoedd dau wastadedd mawr yn Judea. Gwel Reland Ll. I. pen. 55.

awdlu iddi; ond y gwŷr meirch a lettyasant allan yn y gwersyll. Y rhai diweddaf hyn, trwy wneuthur gwastadol ymgyrch ryw ochr neu gilydd i'r wlad; ac wrth redeg tros y parthau cymmydogaethol, a fuont o flinder mawr i Josephus a'i wŷr, Hwy hefyd a yspeiliasant yr holl fannau oedd allan o derfynau'r ddinas; ac a rwystrasant y rhai a feiddiai rodio o amgylch. Ar y cyfrif hwn yr oedd ddarfod i Josephus wneud ymgyrch yn erbyn y ddinas; gan obeithio cymmeryd y lle a amgylchynasai mor ddiweddar â mur cadarn, cyn iddynt wrthdroi oddiwrth eraill o'r Galileaid, fel y byddai y Rhufeiniaid tan anhawstra mawr i'w chymmeryd. Trwy ba foddion y profodd yn rhy egwan, ac y methodd yn ei obaith; yn gystal trwy wneuthur trais ar y lle, a thrwy ynnill pobl Sepphoris i'w rhoddi i fynu iddo ef. Ond trwy'r moddion hyn fe gythruddodd y Rhufeiniaid i wneuthur â'r wlad yn ol cyfreithiau rhyfel. Ac ni arbedodd y Rhufeiniaid, o herwydd eu digter tu ag at y cynnygiad hwn, ddydd na nôs â llosgi lleoedd yn y gwastadedd, a lledratta ymaith yr anifeiliaid oedd yn y wlad; a lladd pa rai bynnag a ymddangosai yn alluog i ymladd yn wastadol: a chymmeryd ymaith y rhai gwannaf o'r bobl i gaethiwed. Felly'r oedd Galilea wedi ei chwbl lenwi â thân ac â gwaed: ac nid oedd yn rhydd oddiwrth un math o drueni neu drallod. Canys yr unig noddfa oedd ganddynt ydoedd, pan erlidid hwynt, diangc i'r dinasoedd a furiasid gan Josephus.

Ond am Titus, fe fordwyodd trosodd o Achaia i Alexandria, a hynny yn gynnarach nag yr oedd y tymmor gauaf yn gyffredin yn caniattau. Felly fe gymmerodd gyd ag ef y lluoedd hynny yr anfonwyd ef attynt: a chan gyrchu gyd â chyflymdra mawr, fe ddaeth yn ddisymmwth i Ptolemais: ac yno wedi cael ei dad, ynghyd â'r ddwy leng o filwyr, y bummed a'r ddegfed, y rhai oedd y llengau godidoccaf o'r cwbl, fe'u hunodd â'r bymthegfed leng yr hon oedd gyd â'i dad. Dennaw cohort neu finteioedd a ddilynasant y llengau hyn. Daeth hefyd bum cohort o Cæsarea, gyd ag un llu o wŷr meirch; a phump o luoedd eraill o wŷr meirch o Syria. Yn awr y deg mintai hyn oedd ag iddynt yn wahanol fil o wŷr traed; ond y tair ar ddeg minteioedd eraill oedd a chanddynt ychwaneg na chwe chant o wŷr traed bob un, gyd â chant ac ugain o wŷr meirch. Yr oedd hefyd nifer mawr o gynnorthwyadon wedi dyfod ynghyd, y rhai a ddaethant oddiwrth y brenhinoedd * Antiochus, Agrippa, a Sohemus; pob un o honynt yn cyfrannu mil o wŷr traed ag oedd yn saethyddion, a mil o wŷr meirch. Malchus hefyd, brenin Arabia, a ddanfonodd fil o wŷr meirch, heblaw pum mil o wŷr traed, y rhan fwyaf o ba rai oeddynt saethyddion. Felly'r oedd yr holl fyddin, gyd â'r cynnorthwyadon oddiwrth y brenhinoedd, yn gystal yn wŷr meirch a gwŷr traed, wedi uno'r cwbl ynghyd yn gwneud i fynu drugain mil; heblaw y gwasanaethyddion, y rhai fel ag yr oeddynt yn canlyn yn rhifedi mawr; felly gan eu bod wedi eu harferyd i ryfel, ni ddylid eu gwahaniaethu oddiwrth yr ymladdwyr. Canys fel ag yr oeddynt yngwasanaeth eu meistriaid yn amser heddwch, felly yr aethant tan yr un peryglon â hwynt yn amser rhyfel. Yn gymmaint ag nad oeddynt islaw eraill mewn medrusrwydd a gwrolder: ond yn unig eu bod yn ddarostyngedig i'w meistriaid.

## PENNOD V.

*Descrifiad o fyddinoedd y Rhufeiniaid, a'u gwersylloedd; a phethau neillduol eraill, am ba rai y canmolir y Rhufeiniaid.*

YN awr ni all neb lai na rhyfeddu rhagocheliad y Rhufeiniaid, yn trefnu iddynt eu hunain y fath wasanaeth-ddynion yn eu teulu, ag a wasanaethai nid yn unig ar amserau eraill mewn achosion cyffredin, ond a allent fod yn fanteisiol iddynt hefyd yn eu rhyfeloedd. Ac yn wir os bydd i rai ond sylwi ar rannau eraill eu disgybliaeth filwraidd, bydd tan angenrheidrwydd i gyfaddef, fod eu meddiant o'r fath lywodraeth ehang wedi ei hynnill iddynt gan eu gwrolder, ac nid yn rhoddiad noeth gan ddamwain. Canys nid ydynt yn dechrau gwneuthur defnydd o'u harfau yn amser rhyfel; ac nid y pryd hynny

* Yr Antiochus hwn ydoedd frenin Commagene. Teyrnas Agrippa a ddescrifiwyd yn ddiweddar, pen. 3. Yr ydoedd yn cynnwys, fel y mae Reland yn gwahaniaethol sylwi, yn unig detrarchiaeth Philip, wedi ei rhoddi iddo gan Claudius, a rhan o Galilea wedi ei roddi iddo gan Nero, h. y. y rhan a gynhwysai Tiberias, Tarichea, a Julias, gyd â phedair ar ddeg o bentrefi perthynol iddynt: a Sohemus oedd frenin Emesa, yn Syria.

y maent yn dodi eu dwylaw gyntaf ar waith, wedi ymgadw oddiwrth hynny mewn amser heddwch. Ond megis pe buasai eu harfau bob amser yng nglŷn wrthynt, nid oes iddynt un gorphwysiad oddiwrth arferion rhyfel. Ac nid ydynt yn aros nes y del amser rhyfel i'w rhybuddio o hynny: canys nid yw eu hymarferiad milwraidd yn gwahaniaethu dim oll oddiwrth wir ddefnydd o'u harfau. Oblegid arferir pob milwr yn feunyddiol i'r un diwydrwydd milwraidd a phe byddai yn amser o ryfel. Hwn yw y rheswm paham y maent yn goddef y lludded o ymladdfeydd mor esmwyth: canys ni all unrhyw aflwyddiant eu symmud o'u rheoledigaeth arferol, ac ni all ofn eu dychrynu oddi wrtho, nac un llafur eu blino hwynt: pa ryw ymddygiad diysgog a bâr iddynt yn wastad orchfygu y rhai nad ydynt o'r un sefydliad â hwynt. Ac ni cham-gymmerai'r sawl a alwai eu hymarferiadau milwraidd yn frwydrau di-waed, a'u hymladdfeydd yn ymarferiadau creulondeb. Ac ni all eu gelynion yn hawdd eu dodi mewn syndod â rhuthrau disymmwth arnynt. Canys cyn gynted ag y gwnelont ymgyrch i dir gelynion ni ddechreuant ymladd nes murio o amgylch eu gwersyll. Ac nid yw'r clawdd a gyfodant yn waith byrbwyll neu ŵyrgam; nid ydynt oll yn aros o'i fewn: na'r rhai sydd yn aros yn cymmeryd eu lleoedd ar antur. Ond os digwydd fod y tir yn anwastad, fe'i gwastatteir yn gyntaf. Eu gwersyll hefyd sydd bedwar-onglog wrth fesuriad, a seiri sydd barod yn rhifedi mawr, gyd â'u harfau i adeiladu tai iddynt.

Am yr hyn sydd o fewn i'r gwersyll, fe'i neillduir at wneuthur pebyll; ond y cylchedd allanol sydd yn tebygoli i fur, ac a addurnir â thŷrau o ogyhyd bellder: ar ba le, rhwg y tŷrau, y gosodir y peirianau i ergydio saethau a phiccellau, ac i daflu cerrig yn nerthol â hwynt: ar ba le hefyd y gosodant eu hofferynau eraill, a ddichon wneuthur niweid i'r gelyn; a'r cwbl yn barod i'w hamrywiol weithrediadau. Maent hefyd yn gwneuthur pedwar o byrth, un ar bob tu i'r cylchedd; a'r rhai'n yn ddigon ehang i anifeiliaid ddyfod i mewn trwyddynt, ac yn ddigon llydain i wneud rhuthriadau o honynt os bydd achos yn gofyn. Maent yn rhannu y gwersyll oddi mewn yn heolydd, er eu mawr gyfleusdra, ac yn gosod i fynu bebyll y blaenoriaid yn y canol. Ond ynghanol y cyfan oll y mae pabell y penciwdawd ei hun, ar ddull teml. Yn gymmaint ag yr ymddengys fel dinas wedi ei hadeiladu mewn byr amser, gyd â'i marchnadfa, a lleoedd i weithiau crefftwyr; hefyd eistedd-leoedd i uwch ac i is-swyddogion; ym mha le os cyfodai dim amrafaelion, eu hachosion a wrandewid ac a benderfynid. Yn gwersyll, a'r hyn oll sydd ynddo, hefyd yn fuan a gylchynir â mur; a hynny gan y lliaws, a deheudra'r llafurwyr. Ac os bydd achos yn gofyn gwneir ffos ddofn o amgylch y cwbl, dyfndwr pa un a fydd yn bedwar cufydd, a'i lled yn ogyfartal.*

Wedi iddynt fel hyn ddiogelu eu hunain, maent yn byw ynghyd yn gwmpeini heddychlon gyd â threfnusrwydd a llonyddwch: megis ag y mae eu holl achosion eraill yn cael eu llywodraethu yn drefnus ac yn ddiogel. Pob cwmpeini hefyd sydd a'u coed, a'u llafur, a'u dwfr yn cael ei ddwyn iddynt, yn ol eu hangen: canys nid ydynt yn swppera, neu yn ciniawa, fel y gwelont yn dda ar eu pennau eu hunain, ond y cyfan oll ynghyd.

Eu hamser hefyd i gysgu, gwylio, a chyfodi a arwyddir ym mlaen llaw gan sŵn yr udgyrn: ac nid yw un peth yn cael ei wneuthur heb y cyfryw arwydd. Ac yn y boreuau y milwyr a ânt at eu canwriaid; a'r canwriaid at eu tribuniaid i'w cyfarch hwynt. Gyd â pha rai yr holl uwch-swyddogion a ânt at ben-llywydd yr holl fyddin: yr hwn y pryd hynny a rydd y gair-gwylio iddynt, ynghyd â gorchymmynion eraill, i'w dwyn at y rhai oll a fyddo tan eu hawdurdod. Yr un peth a wneir pan fyddont yn myned i ymladd: ac wrth hynny hwy a dröant eu hunain o amgylch ar fyrder, pan fyddo achos i wneuthur rhuthriadau: megis hefyd ar eu dychweliad yn ol, wedi eu had-alw yn dorfeydd.

Yn awr pan fyddont i fyned allan o'u gwersyll, yr udgorn a rydd sain, ar ba amser nid yw neb yn aros yn llonydd; ond wrth yr arwydd cyntaf hwy a dynnant i lawr eu pebyll;

* Y descrifiad hwn o gymmesurdeb a threfnusrwydd y fyddin Rufeinaidd, a'u gwersyllfa, gyd â lleisiad eu hudgyrn, a threfn y rhyfel a ddescrifir yn y bennod hon, sydd mor dra thebyg i gymmedrolder a threfniad pobl Israel yn yr anialwch, fel na's gall un beidio a dychymmygu fod y naill wedi ei gael yn batrwn i'r llall; a bod byddiniad yr hynafiaethwyr wedi eu cymmeryd oddiwrth y rheolau a roddwyd gan Dduw i Moses. Ac fe feddylir gan rai dealllus yn y matterion hyn, fod yr hanes yma gan Josephus, ymherthynas i'r gwersyll Rhufeinig, eu harfogaeth, a'u hymddygiad mewn rhyfel, yn rhagori ar y hyn a draddodir gan awdwyr Rhufeinaidd eu hunain.

a phob peth a wneir yn barod i'w mynediad allan. Yna y swnia yr udgyrn drachefn, i'w rhybuddio i ymbarottoi erbyn ymadawiad. Yna dodant y dodrefn yn ebrwydd ar eu mulod, ac anifeiliaid eraill a ddygant feichiau; ac a safant yn y lle o gychwynfa megis yn barod i ymadael. Maent hefyd yn gosod eu gwersyllar dân, o herwydd ei fod yn hawdd iddynt bwy gyfodi un arall; ac i'r dibeu na fyddo o ddim defnydd i'w gelynion. Yna y mae'r udgyrn yn rhoddi eu sain y drydydd waith, yn arwydd eu bod i gychwyn allan; mewn trefn i gynhyrfu y rhai a all fod ar unrhyw gyfrif yn hwyrfrydig; fel na byddo neb yn eisiau yn eu rhesau pan gychwynno'r fyddin. Yna y saif y cyhoeddwr ar ddeheulaw y penciwdawd, ac a ofyn iddynt deir-gwaith yn eu tafodiaith eu hunain, a ydynt yn barod i fyned allan i ryfel, neu beidio? I'r hyn yr attebant, yr un nifer o weithiau, gyd â llais uchel a siriol, "Yr ydym yn barod." A hyn a wnant agos cyn i'r cwestiwn gael ei ofyn iddynt, fel pe byddent wedi eu llenwi â math o gynddaredd milwraidd: ac ar yr un pryd ag y gwaeddant allan hwy a godant eu deheulaw.

Pan, wedi hyn, ar ol iddynt fyned allan o'u gwersyll, y maent oll yn cychwyn heb wneuthur trwst, ac mewn modd rheolaidd: a phawb yn cadw yn eu rhesau eu hunain, fel pe byddent yn myned i frwydr. Y gwŷr traed a arfogir â dwyfroneg, ac â helm neu ben-wisgoedd; a chanddynt gleddyfau ar bob ochr; ond y cleddyf ar eu tu aswy sydd lawer yn hwy na'r llall: canys yr un ar y llaw ddehau nid yw ychwaneg na rhychwant o hyd. Y gwŷr traed hynny hefyd ag a ddewisir o'r milwyr traed eraill, sydd ganddynt gleddyf, ac astalch hir; heblaw llif, basced, bwyall, carrai ledr, a bach haiarn; gyd â lluniaeth tros dri diwrnod. Felly ni byddai gan ŵr traed fawr achos am fol i ddwyn ei feichiau. Y gwŷr meirch sydd â chanddynt gleddyf hir ar eu hochr ddehau, a phawl neu gledren hir yn eu llaw. Tarian hefyd a orwedd yn eu hymyl yn groes ar un ochr i'w meirch, gyd â thair neu ychwaneg o saethau a gedwir yn eu cawell, â blaenau llydain ganddynt, yn ddim llai na gwaywffyn. Mae ganddynt hefyd benwisg neu helm, a dwyfronegau, yn yr un dull a'r holl wŷr traed. Am y rhai a ddewisir i fod o amgylch y penciwdawd, nid yw eu harfogaeth mewn un wedd yn gwahaniaethu oddiwrth y gwŷr meirch a berthynant i luoedd eraill. Ac efe bob amser a arwain y llengau yn mlaen, i'r hwn y syrth y swydd honno wrth goelbren.

Dyma ddull neu drefn cyrchfa a gorphwysiad y Rhufeiniaid, a'r amrywiol fath o arfau a ddefnyddiant. Ond pan y maent i ymladd, ni adawant ddim heb ei ragfyfyrio, neu i'w wneud allan o law. Ond cyngor a gynhelir yn gyntaf cyn dechrau unrhyw waith: a'r hyn a benderfynir ynddo a ddodir mewn gweithrediad yn ebrwydd. Am ba reswm nid ydynt ond yn anfynych yn gwneuthur cyfeiliorni: ac os camsyniasant ar un pryd, hwy yn hawdd a ddiwygiant y camsyniad hwnnw. Y maent yn cyfrif rhyw gamsyniadau a fyddont yn euog o honynt wedi ymgynghori yn mlaen llaw, yn well na'r cyfryw lwyddiant byrbwyll ag a gyfrifir i ddamwain yn unig: o herwydd fod y fath fanteision damweiniol yn eu hudo i esgeulusdra a gwag hyder pan y mae ymgyngoriadau pwyllog, er methu o honynt lwyddo ar amserau, sydd â'r daioni hwn ynddynt, ei fod yn eu gwneuthur yn fwy gofalus rhagllaw. Ond am y manteision a darddant oddiwrth ddamwain, nid ydynt i'w cyfrif i'r neb a'u hennillo hwynt. Ac am y cyfryw ddamweiniau alaethus a ddigwydd yn annisgwyliadwy, y mae'r cyssur hwn i'w gael oddi wrthynt; iddynt hwy, pa fodd bynnag, gymmeryd y cynghorion goreu a allent i'w rhagflaenu hwynt.

Yn awr y maent yn trefnu arferiad parottöawl eu harfau yn y fath fodd, fel y byddo nid yn unig i gyrph, ond eneidiau eu milwyr fod yn gadarnach. Maent ymhellach yn cael eu caledu i ryfel trwy ofn. Canys eu cyfreithiau a osodant gosp marwolaeth, nid yn unig ar filwyr am ddiangc o'u rhesau, ond am segurdod a syrthni, er ei fod o is graddau. Eu cadflaenoriaid ydynt hefyd yn llymmach na'u cyfreithiau. Canys hwy a ragflaenant bob cyfrifiad o greulondeb tu ag at y rhai a fwrir yn euog, trwy'r gwobrwyon mawr a gyfranant i filwyr dewrwych a ffyddlon. A'u parodrwydd i ufuddhau i'w blaenoriaid sydd mor fawr, a'i fod yn ymddangos yn dra hardd yn amser heddwch: ond pan ddelont i frwydr, yr holl fyddin a ymddeng-

ys fel un corph, mor rhagorol y mae eu rhesau wedi eu cyd-gyssylltu: mor ddisymmwth yw eu troion o amgylch; mor gyflym yw eu clyw, mewn perthynas i'r hyn a orchymmynir iddynt; mor gynted eu golwg ar eu bannerau; ac mor wisgi yw eu dwylaw pan osodant hwy ar waith. Wrth yr hyn y mae yn dyfod o amgylch, fod y cwbl a wnelont hwy yn cael ei wneuthur yn gyflym: a'r hyn y maent yn ei ddioddef, hwy a wnant hynny gyd â'r amynedd mwyaf. Ac ni's gallwn gael un siampl ddarfod iddynt gael eu gorchfygu mewn brwydr, pan ddaethant i ymladdfa agos, trwy liosogrwydd eu gelynion, neu eu cyfrwysdra, nac oblegid anghyfleustra'r lle y byddent yn ymladd ynddo; nac ychwaith ar gyfrif ffortun ei hun. Canys eu buddugoliaethau oeddynt sicrach iddynt nag y gallai ffortun au gwneuthur. Yn y cyfryw amgylchiad gan hynny, ag y mae cyngor yn myned o flaen gweithred; a'r lle, wedi ymgynghori yn y modd goreu, y dilynir y cyngor hwnnw gan fyddinoedd mor astud, pa ryfeddod yw fod Euphrates o du'r dwyrain, y cefnfor yn y gorllewin, ardaloedd ffrwythlon Lybia o du'r dehau, ac afonydd y Danube a'r Rhine yn y gogledd, yn derfynau i'r ymerodraeth hon? Gall un ddywedyd yn synhwyrol fod etifeddiaethau y Rhufeiniaid islaw i'r Rhufeiniaid eu hunain.

Y cyfrif hwn a roddais i'r darllenydd; nid yn gymmaint o ran canmoliaeth i'r Rhufeiniaid, ag o gysuro y rhai a gongcwerwyd ganddynt hwy: ac i ragflaenu eraill rhag cynnyg gwrthryfela tan eu llywodraeth hwynt. Y traethiad hwn am arferiad ac ymddygiad milwraidd y Rhufeiniaid, a all fod hefyd o ddefnydd i'r rhai ymofyngar ag sydd yn anwybodus o hono, ac etto a ewyllysiant ei wybod. Yr wyf yn awr yn gadael y gwibiad hwn, ac yn dychwelyd at yr hanesión.

## PENNOD VI.

*Placidus yn cynnyg cymmeryd Jotapata, ac a gurir ymaith. Vespasian yn cyrchu i Galilea.*

VESPASIAN, a'i fab Titus, a arosasant yspaid o amser yn Ptolemais, i drefnu eu byddinoedd. Ond wedi i Placidus, yr hwn a redasai tros Galilea, ac heblaw hynny a laddasai nifer mawr o'r rhai a ddaliodd, (y rhai yn unig oedd y rhan fwyaf egwan o'r Galileaid, a'r cyfryw ag oedd o feddyliau llwfr,) weled fod y rhyfelwyr bob amser yn diangc i'r dinasoedd, muriau pa rai a gyfodasid gan Josephus, fe wnaeth ymgyrch chwyrn yn erbyn Jotapata, yr hon oedd y gadarnaf i gyd o honynt: gan feddwl y gallai yn hawdd ei chymmeryd trwy ymosodiad disymmwth arni: ac y byddai iddo wrth hynny fwynhau anrhydedd mawr iddo ei hun ym mysg y blaenoriaid; a pheri mantais fawr iddynt yn y rhyfel canlynol: oblegid os unwaith y cymmerid y lle cadarnaf hwn, y mannau eraill a ddychrynid i'r fath raddau, ag i ymostwng eu hunain i'r Rhufeiniaid. Ond efe a gamgymmerodd yn ei amcan hwn. Canys gwŷr Jotapata a wybuant am ei ddyfodiad i ymosod arnynt, ac a ddaethant allan o'r ddinas, i'w disgwyl yno. Felly hwy a ymladdasant â'r Rhufeiniaid yn wrol, pan oeddynt leiaf yn ei ddisgwyl: trwy eu bod yn llawer o rifedi, ac wedi ymbarottoi i ymladd gyd â bywiogrwydd mawr: gan gyfrif fod eu gwlad, eu gwragedd, a'u plant mewn perygl; a chyd â hawsder hwy a ddodasant y Rhufeiniaid i ffoi; gan archolli amryw, a lladd * saith o honynt, o herwydd na bu eu henciliad mewn modd anhrefnus; ac oblegid nad oedd yr ergydion yn disgyn ond ar duwyneb eu cyrph, y rhai a orchuddid ym mhob rhan o honynt â'u harfogaeth; ac am nad oedd yr Iuddewon ond yn bwrw eu harfau attynt o bell, yn hytrach nag anturio dyfod i ymladd lawlaw â hwynt; ac â chanddynt arfogaeth ysgafn am danynt, tra'r oedd y lleill mewn cyflawn arfogaeth. Pa fodd bynnag tri dyn o du'r Iuddewon hefyd a laddwyd, ac ychydig a glwyfwyd. Felly Placidus yn canfod ei hun yn analluog i ymosod ar y ddinas, a aeth ymaith.

Ond fel yr oedd Vespasian yn meddwl yn fawr syrthio ar Galilea, fe gychwynodd allan o Ptolemais, wedi dodi ei fyddin yn y fath drefn ag yr arferai y Rhufeiniaid deithio ynddi. Gorchymynodd i'r milwyr cynnorthwyol, oedd ag

* Nis gallaf amgen na sylwi yma ar ddull Dwyreiniol o lefaru, arferedig yn fynych yn eu plith hwynt, ond yn anarferol yn ein mysg ni; lle mae'r geiriau yn unig heb eu dodi i lawr, ond ysgatfydd ryw ffordd yn cael eu cyflawni yn y llefariad. Felly y dywed Josephus yma, ddarfod i'r rhai o Jotapata ladd saith o'r Rhufeiniaid, fel yr oeddynt yn cilio ymaith; o herwydd fod enciliad y Rhufeiniaid yn rheolaidd; eu cyrph wedi eu gorchuddio â'u harfogaeth; a'r Iuddewon yn ymladd oddiar bellder. Ei feddwl sydd eglur, mai hyn oedd y rhesymmau paham na laddasant yn unig, neu ddim ychwaneg na saith. Cyfarfyddir ag amryw o'r cyffelyb siamplau yn yr Ysgrythyrau, yn Josephus, &c. ond ni nodais i lawr y lleoedd yn neillduol. Dylai y sylwiad hwn gael ei gadw mewn cof ar lawer o achosion.

arfogaeth ysgafn, a'r saethyddion i gychwyn yn gyntaf; fel y byddent barod i wrthwynebu ymosodiadau disymmwth oddiwrth y gelyn; ac y byddai iddynt chwilio'r coedydd ag oeddynt yn ammheus o'u plegid, y rhai a dybid eu bod yn gyflens i wneuthur dirgel gynllwynion. Yn nesaf at y rhai hyn y canlynodd y rhan hynny o'r fyddin Rufeinig ag oedd mewn cyflawn arfogaeth, yn wŷr traed a gwŷr meirch. Yn nesaf attynt hwythau y canlynodd deg allan o bob cant, yn dwyn gyd â hwynt eu harfogaeth, a'r hyn oedd angenrhaid i fesur allan wersylloedd; ac ar eu hol hwynt y cyfryw ag oedd i wastadhâu ac unioni'r ffyrdd; y rhai os byddent yn un lle yn arw ac yn galed i fyned ar hydddynt, fel y gellid eu trefnu hwynt, a thorri i lawr y coedydd a fyddai yn rhwystr i'w hymgyrch, fel na flinid, ac na chyfyngid ar y fyddin yn ei mynedfa. Y tu ol i'r rhai hyn, fe osododd y fath gludeiriau'r fyddin ag a berthynai iddo ei hun, a'r blaenoriaid eraill, gyd â rhifedi dewisol o wŷr meirch er eu diogelu hwynt. Ar ol y rhai hyn yr aeth ei hunan ym mlaen; a chanddo gyd ag ef gorph dewisol o wŷr traed, a gwŷr meirch, ynghyd â phiccell-wŷr. Ar ol y rhai hyn y canlynodd gwŷr meirch ei leng ei hun: canys yr oedd cant ac ugain o farchogion yn perthyn i bob lleng. Yn nesaf ar ol hynny yr oedd y mulod a ddygent y peiriannau perthynol i warchae, ac offerynau rhyfel eraill o'r natur hwnnw. Yn nesaf at hyn y dilynodd swyddogion y cohortiaid, a'r tribuniaid; gyd â milwyr a ddewisid o'r lleill o'u hamgylch. Yna y daeth y baneran, yn cylchynu'r eryr, yr hwn sydd wrth ben pob un o'r llengau Rhufeinaidd; y brenin, a'r cryfaf o'r holl adar; yr hwn a ymddengys iddynt hwy yn arwydd o arglwyddiaeth, ac o fuddugoliaeth ar bawb a elont i'w herbyn. Yr arwyddion cyssegrol hyn a ddilynid gan yr udganwyr. Yna y canlynodd y brif-fyddin, yn amryw luoedd dosparthedig, a chanwriad yn golygu pob un. Am wasanaethwyr pob lleng, yr oeddynt oll yn dilyn y gwŷr traed; ac yn golygu dodrefn y milwyr a ddygid gan y mulod, ac anifeiliaid eraill. Ond y tu ol i'r holl lengau y canlynai'r lliaws o gyflogyddion; a'r rhai a ddygent i fynu y rhes ddiweddaf a ddaethant yn olaf o bawb, er diogelwch yr holl fyddin; a hwy i gyd yn wŷr traed, ac yn eu harfogaeth hefyd, gyd â rhifedi mawr o wŷr meirch.

Ac fel hyn yr ymgyrchodd Vespasian gyd â'i holl fyddin, ac y daeth i derfynau Galilea, lle y gwersyllodd, ac y cadwodd ei filwyr o fewn terfynau, y rhai oeddynt awyddus i ryfel. Gwnaeth hefyd ddangosiad o'i fyddin i'r gelyn, mewn trefn i'w dychrynu, a rhoddi hamdden iddynt i edifarhau, ac i weled a gyfnewidient eu meddyliau cyn dyfod o honynt i frwydr: ac ar yr un pryd fe geisiodd bethau yn barod i warchae ar eu mannau cedyrn. Ac yn wir yr olwg yma ar y penciwdawd a barodd i lawer edifarhau oblegid eu gwrthryfel, ac a'u dododd mewn braw a dychryn. Canys y rhai oedd yngwersyll Josephus, yr hwn oedd wrth y ddinas a elwid Garis, heb fod yn neppel oddiwrth Sepphoris, pan glywsant fod y rhyfel wedi neshau attynt, ac y byddai i'r Rhufeiniaid ar fyr ymladd lawlaw â hwynt, hwy a wasgarwyd, ac a ffoasant nid yn unig cyn dyfod i frwydr, ond cyn bod y gelyn mewn golwg; tra'r oedd Josephus heb ond ychydig wedi aros yn ol gyd ag ef. Ac fel y canlyn nad oedd ganddo fyddin ddigonol i ymladd â'r gelyn; fod ysprydoedd yr Iuddewon wedi suddo, ac y byddai y rhan fwyaf yn ewyllysgar i ddyfod i ammodau, os caent eu credu; efe eisoes a anobeithiodd am lwyddiant yr holl ryfel; ac a benderfynodd i gilio mor bell ag oedd bossibl iddo allan o'r perygl. Felly fe gymmerodd y rhai a arosasai yn ol gyd ag ef, ac a ffodd i Tiberias.

## PENNOD VII.

*Vespasian, wedi cymmeryd y ddinas Gadara, yn cyrchu at Jotapata. Ac wedi hir warchae, y ddinas, trwy fradwriaeth, yn cael ei chymmeryd gan Vespasian.*

FELLY Vespasian a wnaeth ymgyrch yn erbyn y ddinas Gadara, ac a'i cymmerodd ar y cynnygiad cyntaf; o herwydd iddo ei chael yn wag o nifer digonol o wŷr wedi tyfu i fynu i ryfel. Daeth wedi hynny i'w mewn, ac a laddodd yr holl ieuengctyd, gan na ddangosai y Rhufeiniaid drugaredd at un math o oedran. A hyn a wnaethpwyd oddiar y casineb yr oeddynt yn ei ddwyn at y genedl: ac o herwydd yr anwiredd a fuasent yn euog o hono yn achos Cestius. Efe hefyd nid yn unig a osododd y

ddinas ar dân, ond yr holl faes-drefi, a'r dinasoedd bychain oedd o amgylch iddi; a rhai o honynt yn hollol wag o drigolion; ac o'r lleill y cymmerodd ymaith eu preswylwyr i gaethiwed.

Am Josephus, ei ddiangfa i'r ddinas a ddewisasai er ei ddiogelwch, a'i dododd tan ofnau mawr: canys ni farnodd pobl Tiberias y buasai efe yn ffoi ymaith, oddigerth iddo anobeithio yn llwyr am lwyddiant y rhyfel. Ac yn wir ymherthynas i'r pwynt hwnnw nid oeddynt yn cam-gymmeryd. Canys fe welodd i ba le y tueddai achos yr Iuddewon yn y diwedd; ac fe gydnabu nad oedd ond un ffordd o ddiangfa iddynt, a hynny oedd trwy edifeirwch. Pa fodd bynnag, er disgwyl o hono y maddeuai y Rhufeiniaid iddo, etto fe ddewisasai farw amryw weithiau trosodd yn hytrach na bradychu ei wlad; a pheri dianrhydedd i'r awdurdod bennaf a ymddiriedasid iddo ef ar y fyddin: neu fyw yn ddedwydd tan y rhai yr anfonwyd ef i ymladd i'w herbyn. Fe benderfynodd gan hynny roddi hanes cywir o sefyllfa eu hachosion trwy lythyr i'r pennaethiaid yn Jerusalem; fel na byddai iddo trwy adrodd yn ormodol am gryfdwr y gelyn eu gwneuthur yn rhy ofnog; neu ddangos eu cadernid yn llai na'r hyn ydoedd mewn gwirionedd, eu hannog i sefyll allan, pan fyddent, o bossibl, yn tueddu i edifeirwch. Danfonodd iddynt hefyd air, os meddylient ddyfod i ammodau, fod yn rhaid iddynt yn ebrwydd ysgrifennu attebiad iddo: neu os penderfynent i ryfela fod yn angenrheidiol danfon y fath fyddin liosog iddo, ag a fyddai'n gymmwys i ymladd â'r Rhufeiniaid Yn ganlynol fe ysgrifenodd ynghylch y pethau hyn, ac a'i danfonodd gyd â negesenwŷr yn ddioed i Jerusalem.

Yn awr yr oedd Vespasian yn mawr ewyllysio dadymchwel Jotapata; canys yr oedd wedi cael hyspysiad, fod y rhan fwyaf o'r gelynion wedi cilio yno; a'i fod, ar gyfrifon eraill, yn lle o fawr ddiogelwch iddynt. Yn ganlynol fe ddanfonodd wŷr traed a gwŷr meirch i wastadhau y ffordd, yr hon ydoedd yn fynyddig ac yn greiglyd: nid heb fod yn anhawdd tramwyo ar hyddi gan wŷr traed, ond yn hollol anghyfleus i wŷr meirch. Yn awr y gweithwyr hyn a gwblhasant y peth yr oeddynt yn ei gylch mewn pedwar o ddyddiau, ac a agorasant ffordd ehang i'r fyddin. Ar y pummed dydd, yr hwn oedd yr unfed ar hugain o'r mis Artemisius, neu Jyar, Josephus a ddaeth yn rhwystr iddo o Tiberias, ac a aeth i Jotapata, gan gyfodi ysprydoedd yr Iuddewon ag oedd wedi llaesu yn fawr. A rhyw enciliwr a fynegodd y newydd da hwn i Vespasian, fod Josephus wedi symmud ei hun yno: yr hyn a wnaeth iddo brysuro i ddyfod at y ddinas: gan feddwl, mai gyd â chymmeriad y lle hwnnw y cymmerai holl Judea, pe gallai ond cael Josephus tan ei awdurdod.

Felly fe gymmerodd y newyddion hyn megis o'r fantais fwyaf iddo, gan gredu ei ddyfod oddi amgylch trwy ragluniaeth Duw; ddarfod i'r hwn a ymddangosai yn ddyn callaf o'i holl elynion, o'i wirfodd gau ei hun i fynu mewn lle o gadwraeth sicr. Yn ganlynol fe ddanfonodd Placidus, gyd â mil o wŷr meirch, ac Ebutius, a Decurion, gŵr enwog o gynghor ac o weithred, i amgylchu prif-ffordd y ddinas; fel na ddiangai Josephus ymaith yn ddirgelaidd.

Vespasian hefyd, y dydd nesaf, a gymmerodd ei holl fyddin, gan eu dilyn hwynt: ac wrth gyrchu hyd yn ddiweddar o'r prydnawn, a gyrhaeddodd i Jotapata. A chan arwain ei fyddin at du gogleddol y ddinas, fe wersyllodd ar fryn ger llaw i'r lle hwnnw, yn saith o stadau o'r ddinas, ac a ymdrechodd fyth i'w weled yn amlwg gan y gelyn, i'r diben i beri arswyd arnynt: pa ryw olwg digyfrwng ydoedd yn wir mor ddychrynllyd i'r Iuddewon, fel na feiddiai un o honynt ymddangos y tu allan i'r muriau. Etto darfu i'r Rhufeiniaid adael heibio oddiweddyd y lle y pryd hwnnw, o herwydd teithio o honynt trwy'r holl ddiwrnod o'r blaen: er iddynt osod rhes ddwbl o luoedd o amgylch y ddinas, gyd â thrydydd res y tu cefn iddynt hwy o amgylch y cwbl, yr hon oedd yn gynnwysedig o wŷr meirch; mewn trefn i gau i fynu bob ffordd o ddiangfa. Yr hyn beth gan wneud o hono i'r Iuddewon anobeithio hynny, a'u cynnyrfodd i weithredu yn fwy hyf. Canys nid oes dim a wna i ddynion ymladd mor ddi-ymarbed mewn rhyfel, ag angenrheidrwydd.

Yn awr wedi gwneud ymosodiad y dydd nesaf gan y Rhufeiniaid; yr Iuddewon ar y cyntaf a arosasant y tu allan i'r muriau, i'w gwrthwynebu hwynt, wedi llunio iddynt eu hunain wersyll yno. Ond pan osododd Vespasian

y saethyddion ac ergydwyr cerrig i'w herbyn, a'r holl liaws a allai daflu o bell, fe ganiattaodd iddo fyned at y gwaith. Pan ddarfu iddo ef ei hun fyned gyd â'r gwŷr traed i ben goriwared, o ba un y gellid yn hawdd gymmeryd y ddinas. Josephus y pryd hynny a ofnodd am y ddinas, ac a neidiodd allan, a holl liaws yr Iuddewon gyd ag ef. Y rhai hyn ynghyd a syrthiasant ar y Rhufeiniaid yn lliaws mawr, ac a'u gyrrasant ymaith oddiwrth y mur, ac a wnaethant amryw weithredoedd mawrion a chlodfawr. Etto hwy a ddioddefasant gymmaint ag a wnaethant i'r gelyn ei ddioddef. Canys fel yr oedd anobaith o ymwared yn gwneuthur i'r Iuddewon ymdrechu, felly yr oedd yr ystyriaeth o gywilydd yn annogaeth i'r Rhufeiniaid. Y rhai olaf hyn oedd â medr ganddynt yn gystal a grymmusder: nid oedd gan y lleill ond cefnogrwydd yn unig, yr hyn oedd yn eu harfogi, ac yn peri iddynt ymladd yn ffyrnig. Ac wedi i'r ymladdfa barhau trwy gydol y dydd, dodwyd terfyn iddo trwy ddyfodiad y nos ymlaen. Hwy a archollasant lawer o'r Rhufeiniaid, ac a laddasant driar-ddeg o ddynion, pan o du'r Iuddewon y lladdwyd dau-ar-bymtheg, ac y clwyfwyd chwe' chant.

Ar y dydd nesaf y gwnaeth yr Iuddewon ymosodiad arall ar y Rhufeiniaid, gan fyned y tu allan i'r muriau, ac ymladd brwydr llawer mwy ffyrnig na'r gyntaf. Canys yr oeddynt yn awr wedi ymwroli yn fwy nag o'r blaen, a hynny ar gyfrif y gwrthwynebiad da a wnaethent y dydd arall; megis ag y cawsent y Rhufeiniaid hefyd yn ymladd yn ffyrnicach. Canys ystyriaeth o anglod a ennynodd y rhai hyn i ddigofaint, gan gyfrif eu methiant o fuddugoliaeth ddioed yn fath o oruchafiaeth arnynt. Fel hyn yr ymdrechodd y Rhufeiniaid i bwyso ar yr Iuddewon yn wastadol hyd y pummed dydd, tra'r oedd pobl Jotapata yn gwneud rhuthriadau, ac yn ymladd oddiar y mur yn greulon. Ac nid oedd dychryn ar yr Iuddewon o herwydd cadernid y Rhufeiniaid; ac ni wangalonogodd y Rhufeiniaid wrth yr anhawsdra a gawsant yn cymmeryd y ddinas.

Yn awr Jotapata sydd wedi ei hadeiladu yn gwbl ar ddibyn; a chanddi ar bob ochr bantau neu gymmoedd tra dwfn islaw iddi: yn gymmaint a phan edrychai rhai i wared, eu golwg a fethai cyn cyrhaeddyd o hono y gwaelod. Yr unig ffordd i neshau iddi sydd o du'r gogledd; lle y mae cwrr eithaf y ddinas yn sefyll ar fryn, ac yn traws-ddiweddu ar wastadedd. Y bryn hwn a amgylchynasai Josephus â mur pan amddiffynodd y ddinas, fel na oresgynid ei phen uchaf gan elynion. Gorchuddir y ddinas oll o amgylch gan fryniau eraill; ac ni ellir un ffordd ei gweled nes dyfod i'w hymyl: a thyna oedd sefyllfa gadarn Jotapata.

Vespasian gan hynny mewn trefn i gynnyg dadymchwel y cadernid naturiol hwn, yn gystal a hyfdra amddiffyniad yr Iuddewon, a ymroddodd i ganlyn ar y gwarchae gyd â bywiogrwydd. I'r diben hwnnw fe alwodd y blaenoriaid oedd gyd âg ef i gyngor; gan gyd-ystyried â hwynt pa ffordd a gymmerid i wneud yr ymgyrch yn y modd mwyaf manteisiol. A phan benderfynwyd yno i godi gwrthglawdd yn erbyn y rhan hwnnw o'r mur ag oedd yn wneuthuradwy, fe ddanfonodd ei holl fyddin i geisio'r defnyddiau ynghyd. Felly wedi iddynt dorri i lawr yr holl goed yn y gelltydd cyssylltedig â'r ddinas, a chludo pentwr difesur o gerrig ynghyd, heblaw y coed a dorrasant: rhai o honynt a wnaethant ac a ddygasant glwydi, i'r diben i ochelyd effaith y saethau a ollyngid attynt oddi uchod. Y clwydi hyn a daenasant uwch ben eu gwaith, tan gysgod pa rai y codasant eu bryncyn neu wrthglawdd; ac felly ni niweidiwyd ond ychydig neu ddim arnynt gan y saethau a fwrid attynt oddiar y muriau; tra'r oedd eraill yn rhwygo y bryniau gerllaw yn ddrylliau, ac yn cludo pridd yn wastadol at y gwaith. Felly tra'r oeddynt yn brysur mewn tair math o ffyrdd, nid oedd neb o honynt yn segur. Pa fodd bynnag, yr Iuddewon a fwriasant feini mawrion o'r muriau ar y clwydi ag oedd yn gorchuddio'r gweithwyr, gyd â phob math o saethau hefyd. A thrwst y pethau na allai eu cyrraedd hwynt ydoedd mor ofnadwy, fel y bu yn beth rhwystr i'r gweithwyr i fyned a'u gorchwyl ym mlaen.

Yna Vespasian a osododd y peiriannau ar waith i ergydio cerrig a phicellau o gwmpas yr

holl ddinas. Rhifedi y peirianau i gyd oeddynt gant a thrugain: a pharodd i'w wŷr syrthio at y gwaith, a gyrru ymaith y rhai oedd ar y mur. Ar yr un pryd, y fath offerynau ag a a fwriedid i'r diben hwnnw a daflasant waywffyn attynt gyd â nerth a thrwst mawr; a cherrig o bwysau talent a ergydid gan yr offerynau pwrpasol i hynny; gyd â thân, a chawodydd o saethau; yr hyn a wnaeth y sefyllfa ar y muriau mor beryglus, fel na feiddiai'r Iuddewon, nid yn unig sefyll ar y mur, ond ni allent neshau i'r mannau hynny o fewn y mur a gyrhaeddid gan y peiriannau. Canys y lliaws o saethyddion Arabaidd, yn gystal â'r rhai oll a ergydient biccellau a cherrig, a syrthient i weithio yr un amser a'r peirianau. Etto ni ddarfu i'r lleill aros yn llonydd, pryd na's gallent fwrw at y Rhufeiniaid o uwch leoedd. Canys yna y gwnaethant ruthriadau allan o'r ddinas, fel yspeilwyr dirgelaidd yn bartïon, gan dynnu ymaith y clwydi a orchuddiai'r gweithwyr, a'u lladd hwynt, pan oeddynt y modd hwnnw yn noethion. Ac wedi i'r gweithwyr hynny gilio ymaith, hwy a fwriasant ymaith y pridd o'r hwn y gwnaed y bryncyn, gan losgi y rhan goediog o hono, ynghyd a'r clwydi: nes o'r diwedd i Vespasian ganfod y gwagle oedd rhwng y naill waith a'r llall yn anfanteisiol iddo. Canys y mesurau hynny o dir a roddodd i'r Iuddewon le i ruthro ar y Rhufeiniaid: felly fe ailgyssylltodd ynghyd y clwydi, ac ar yr un amser a unodd y naill ran o'r fyddin â'r llall, yr hyn a rwystrodd ruthrau dirgelaidd yr Iuddewon.

A phan oedd y bryncyn yn awr wedi ei gyfodi a'i ddwyn yn nes nag erioed at y canllawiau perthynol i'r muriau, meddyliodd Josephus ei fod yn gamwedd ynddo ei hun os na ddyfeisiai ryw beth gwrthwyneb iddynt hwy, ac a fyddai er achubiaeth y ddinas. Felly fe geisiodd ynghyd ei weithwyr, ac a barodd iddynt adeiladu y muriau yn uwch. A phan ddywedasant fod hyn yn anmhosibl ei wneuthur tra'r oedd cymmaint o saethau yn cael eu hergydio attynt, fe ddyfeisiodd y fath yma o orchudd iddynt: Parodd osod i fynu attegbyst, a dodi crwyn eidionau newydd eu lladd yng nghrog ac yn daenedig ar y pennau; fel y byddai i'r crwyn hyn, trwy dderbyn y cerrig a ergydid attynt eu cysgodi rhag niweid: oblegid y byddai i'r saethau eraill lithro ymmaith oddiarnynt; a'r tân a deflid gael ei ddiffodd gan y lleithdra oedd yn y crwyn. A'r pethau hyn a osododd o flaen y gweithwyr: ac o tan eu cysgod hwy a aethant ym mlaen â'u gwaith gyd â diogelwch: a chyfodasant y mur yn uwch, a hynny y dydd a'r nos, nes ei fod yn ugain cufydd o uchder. Gwnaeth hefyd rifedi o dŷrau ar y mur; ac a gymhwysodd atto ganllawiau cedyrn. Hyn yn fawr a ddigalonodd y Rhufeiniaid; y rhai yn eu tŷb eu hunain a ddaethent eisoes y tu fewn i'r muriau; pan oeddynt yn awr yn rhyfeddu wrth ddyfais Josephus, a chefnogrwydd y trigolion oedd o fewn y ddinas.

Ac yn awr, Vespasian ydoedd yn amlwg wedi ei gythruddo wrth ddichell y ddyfais hon, ac anturiaeth trigolion Jotapata. Canys gan gymmeryd calon drachefn, wedi cyfodi'r mur, yr Iuddewon a wnaethant ruthriadau newyddion ar y Rhufeiniaid, ac ymdrechiadau beunyddiol a fu rhynddynt yn bartion; ynghyd â phob rhyw ddyfeisiau a arferir gan anrheithwyr, ac yspeilio yr hyn oll a ddeuai i'w dwylaw, gyd â gosod hefyd yr holl weithiau eraill ar dân. A hyn nes i Vespasian wneud i'w fyddin adael heibio ymladd â hwynt, ac ymroi i aros o amgylch y ddinas nes eu newynu i ymostyngiad. Gan feddwl y byddai raid iddynt un a'i deisyf ei nawdd a'i drugaredd, o herwydd eu diffyg o luniaeth; neu os byddai 'r calondid ganddynt i ddal allan hyd y diwedd, y difethid hwy trwy newyn. A barnodd y gorchfygai hwynt yn gynt wrth ymladd, trwy roddi ychydig seibiant iddynt, ac yna syrthio arnynt wedi eu gwanhau trwy newyn. Ond etto fe orchymynodd ar i wyliadwriaeth gael ei wneuthur yn erbyn eu dyfodfa allan o'r ddinas.

Yn awr y rhai gwarchaëdig ydoedd ganddynt ddigonedd o lafur yn y ddinas, ac yn wir o bob angenrheidiau eraill. Ond yr oedd diffyg dwfr arnynt, o herwydd nad oedd un ffynnon yn y ddinas, gan fod y bobl yno yn arferol o foddloni ar ddwfr gwlaw: etto peth anfynych yn y wlad honno yw cael gwlaw yn yr haf. Ac ar y tymmor hwn, yn amser y cynllwyn, yr oeddynt mewn cyfyngder mawr pa fodd i ddyfeisio ffordd i dorri eu syched. Ac yr oeddynt yn

dra gofidus oblegid hyn yn neillduol, fel pe buasent eisoes mewn hollol ddiffyg o hono. Canys a Josephus yn gweled fod amledd o angenrheidiau eraill yn y ddinas, a bod y dynion yn parhau i feddu calondid; ac yn ewyllysio chwanegu at feithder y gwarchae i'r Rhufeiniaid, tu hwnt i'r hyn yr oeddynt hwy yn ei ddisgwyl, a orchymmynodd ranu eu diod iddynt wrth fesur. Ond y dosparthiad byr hwn o ddwfr a gyfrifwyd yn dostach na'r eisiau o hono. A thra nad allent yfed cymmaint ag a chwennychent, a'i gwnaeth yn eccrach i yfed nag a fuasent mewn modd amgen. Fe'r oeddynt wedi gwangaloni cymmaint oblegid hyn, fel pe buasent wedi dyfod i'r radd eithaf o syched. Ac nid oedd y Rhufeiniaid yn anadnabyddus o'r cyflwr yr oeddynt ynddo. Canys fel yr oeddynt yn sefyll ar eu cyfer, y tu ol i'r mur, gallent eu gweled yn rhedeg ynghyd, ac yn cymmeryd eu dwfr wrth fesur: yr hyn a barodd iddynt ergydio eu gwaywffyn yno, gan fod y lle o fewn i'w cyrhaeddiad, a lladdasant lawer o honynt.

Ar hyn Vespasian a obeithiodd y byddai eu derbynfa ddwfr ar fyr wedi ei arllwys, ac y gwnelid iddynt roddi i fynu y ddinas iddo ef. Ond â Josephus yn dymuno diddymu ei obaith, a orchymmynodd iddynt wlychu llawer o'u dillad, a'u taenu ar hyd y canllawiau, nes bod yr holl fur yn ebrwydd wedi ei wlychu â rhediad y dwfr i lawr. Yr olwg yma a ddigalonodd y Rhufeiniaid, ac a barodd ofid iddynt, pan welsant hwy yn gallu bwrw ymaith yn ofer gymmaint o ddwfr, pan feddyliasant hwy nad oedd ganddynt ddigon eu hunain i'w yfed. Hyn a barodd i'r penciwdawd Rhufeinig anobeithio goresgyn y ddinas trwy eu diffyg o angenrheidiau; a chymmeryd yn llaw drachefn i ymladd, a cheisio gwneuthur iddynt ei rhoddi i fynu trwy rym arfau: yr hyn oedd y peth a fawr ddymunodd yr Iuddewon. Canys fel yr anobeithiasant iddynt hwy na'u dinas allu diangc, mwy dewisol ydoedd ganddynt farw mewn brwydr, na thrwy newyn a syched.

Pa fodd bynnag, Josephus a luniodd ddyfais arall, heblaw yr un o'r blaen, i gael digonoldeb o'r hyn oedd arnynt ei eisiau. Yr ydoedd rhyw le garw ac anwastad i fyned o'r ddinas, yr hwn ni ellid ond yn anhawdd ei ddringo, ac ar y cyfrif hwnnw ni wylid arno gan y milwyr. Felly Josephus a ddanfonodd allan wŷr ar hyd ochr orllewinol y dyffryn; a chawsant gan y rhai oedd yn trigo yno amlder o'r angenrheidiau ag oedd yn ddiffygiol arnynt yn y ddinas; a pharasai Josephus iddynt orchuddio eu hunain â chrwyn defaid, a'u gwlan arnynt; fel os byddai i ryw un graffu yn y nos, y gallent dybied mai cŵn oeddynt. Hyn a wnaethpwyd nes i'r wyliadwriaeth ddeall y ddyfais, ac amgylchu y lle garw hwnnw eu hunain.

Ac yn awr y bu i Josephus ganfod na allai'r ddinas ddala allan yn hir; ac y byddai ei fywyd ei hun tan amheuaeth os parhâi i aros ynddi. Felly fe gyd-ymgynghorodd pa fodd y gallai ef a phenaethiaid y ddinas ffoi o honi. Pan ddeallodd y lliaws hyn, hwy a ddaethant i gyd o'i amgylch, gan ddeisyf arno beidio a'u hesgeuluso hwynt, pan oeddynt a'u holl hyder arno ef, ac efe yn unig. Oblegid fod etto obaith am waredigaeth iddynt os arhosai efe gyd â hwynt; oblegid y boddlonai pawb fyned tan unrhyw boen yn siriol er ei fwyn ef: ac yn yr amgylchiad hwnnw fe fyddai yn beth cysur iddynt, pe digwyddid eu cymmeryd hwynt. Nad ydoedd ddim yn gymmwys iddo ef ffoi rhag ei elynion, nac i adael ei gyfeilion; gan neidio allan o'r ddinas honno, megis o long ag oedd barod i suddo mewn tymhestl, wedi dyfod i mewn iddi pan oedd yn dawel ac yn llonydd: oblegid wrth fyned o hono ymaith, y byddai yn achos o foddi'r ddinas: o herwydd na fyddai i neb anturio gwrthwynebu'r gelyn, wedi iddo ef unwaith fyned ymaith, ar yr hwn yr oeddynt yn cwbl hyderu.

Ar hyn Josephus a ochelodd rhag iddynt wybod ei fod ef i fyned ymaith mewn gofal am ei ddiogelwch ei hun: ond dywedodd ei fod yn ymadael o'r ddinas er eu mwyn hwy: oblegid os arosai gyd â hwynt na allai fod ond o ychydig wasanaeth iddynt, tra fyddent mewn amgylchiad diogel: ac os unwaith y cymmerid hwynt, na fyddai iddo amgen na chael ei ddifetha gyd â hwynt i ddim pwrpas. Ond os rhyddheid ef unwaith oddiwrth y cynllwyn, y galluogid ef i ddwyn llawer o gynnorthwy iddynt. Oblegid y byddai iddo yn uniongyrch alw y Galileaid ynghyd o'r wlad yn lliaws mawr, a thynu y Rhufeiniaid oddiwrth eu dinas

â math arall o ryfel. Nad ydoedd efe yn medru gweled o bwy fantais y gallai fod yn awr iddynt, wrth aros yn eu mysg: ond yn unig i annog y Rhufeiniaid i warchae arnynt yn drymmach, megis yn ei gyfrif yn fantais fwyaf iddynt i allu ei gymmeryd ef. Ond os unwaith y gwyddent ddarfod iddo ef ffoi o'r ddinas, y llaesid llawer ar ei hymegniau i geisio ei chymmeryd hi. Etto ni ddarfu i'r dadleuon hyn symmud y bobl, ond peri iddynt ymdrechu yn daerach ag ef. Yn ganlynol y plant, a'r hen wŷr, a'r gwragedd gyd â'u mabanod, a ddaethant atto yn llefain, gan syrthio i lawr o'i flaen; a phawb o honynt a * ymafaelasant yn ei draed, ac a'i daliasant yn dynn, gan erfyn arno, gyd ag wylofain mawr, ar iddo gymmeryd ei ran gyd â hwynt yn y peth a ddeuai arnynt. Ac yr wyf yn meddwl wneuthur o honynt hyn, nid o ran eiddigeddu wrth ei waredigaeth ef, ond eu bod yn gobeithio am yr eiddynt eu hunain: canys ni fedrent gredu y dioeddefent lawer o niweid, os byddai i Josephus ond aros gyd â hwynt.

Yn awr Josephus a ystyriodd, os ymroai i aros, y cyfrifid hynny i'w berfyniadau; ac os penderfynai fyned ymmaith yn ddiffaeledig y rhoddid ef tan wyliadwr. Ei dosturi hefyd tu ag at y bobl yn eu galarnadau, a dorrodd lawer ar ei rym i ymadael â hwynt. Felly efe a benderfynodd aros: ac wedi ymarfogi ag anobaith cyffredin y dinasyddion, efe a lefarodd wrthynt: "Yn awr yw'r amser i ddechrau ymladd o ddifrif, pan nad oes dim gobaith o waredigaeth wedi ei adael. Peth anrhydeddus yw dewis ymddwyn yn ffyddlon, yn hytrach na chael bywyd, ac i osod ynghylch rhyw weithred ardderchog, ag a gofféir gan ein hiliogaeth yn ddiweddar o amser." Wedi dywedyd hyn, fe gwympodd i weithio yn ddioed, gan wneuthur rhuthr, a gwasgaru gwarchawdlu y gelynion oddi allan, cyn belled a gwersyll y Rhufeiniaid eu hun, ac a dynnodd i lawr orchuddiadau eu pebyll oedd ar y bryniau, gan eu rhwygo yn ddrylliau, a gosod eu gwaith ar dân. A thyma oedd y ffordd a gymmerodd yn ddibaid i ymladd, yr hon ni roddodd heibio y dydd nesaf, na'r diwrnod ar ol hynny; ond a aeth yn mlaen â hi tros nifer o ddyddiau a nosweithiau.

Ar hyn Vespasian pan welodd y niweid a wnaed i'r Rhufeiniaid trwy y rhuthriadau hyn, (er cywilyddio rhag gwneuthur iddynt ffoi ymaith gan yr Iuddewon, a phan ar un pryd y gwnaent hwy i'r Iuddewon ddiangc, eu trwm arfogaeth ni adawai iddynt eu herlid yn mhell; pan oedd yr Iuddewon, wedi cyflawni rhyw weithred orchestol, cyn y gellid eu clwyfo yn cilio fyth yn ol i'r ddinas,) a orchymmynodd i'w wŷr arfog ochel eu hymosodiadau, a pheidio a'i hymladd allan â dynion tan anobaith o ymwared, pan nad oes dim yn ffyrnicach nag anobaith ei hun. Ond y byddai i'w trais gael ei wanychu pan welent eu hunain wedi methu eu hamcan, fel tân yn diffodd pan fyddai tanwydd yn eisiau. A'i fod yn beth addas i'r Rhufeiniaid ynuill eu buddugoliaethau mor rhad ag y medrant; gan nad oeddynt yn cael eu gyrru i ymladd ond er helaethu terfynau eu harglwyddiaethau eu hunain. Felly fe yrrodd yr Iuddewon yn eu gwrthol mewn mesur mawr trwy'r saethyddion o Arabiaid, a'r ergydwyr cerrig o Syriaid; ac â rhai ereill a daflai gerrig attynt. Ac ni fu dim gorphwysiad i'w nifer mawr o beiriannau dinystriol. Yn awr yr Iuddewon a ddioddefasant yn fawr trwy y peiriannau hyn, heb fod yn alluog i ddiangc rhagddynt. A phan oedd yr offerynau hyn yn ergydio eu cerrig neu waywffyn o ffordd bell, a'r Iuddewon o fewn eu cyrhaeddiad, hwy a wasgasant yn drwm ar y Rhufeiniaid, ac a ymladdasant yn erchyll, heb arbed eu cyrph na'u heneidiau: pan oedd un rhan o honynt yn cynnorthwyo'r llall ar amserau, wedi eu llwyr flino.

Wedi i Vespasian wrth hynny edrych arno ei hun megis yn warchaedig gan y cyllwynion hyn oddi wrth yr Iuddewon; a phan nad oedd ei wrthgloddiau yn awr ymhell oddiwrth y caerau, fe benderfynodd wneuthur defnydd o'i beiriant-dyrnodiol. Y peiriant hwn sydd dylath mawr o bren, cyffelyb i hwylbren llong. Ei ben blaen sydd wedi ei arwisgo â darn trwchus o haiarn ar ei gwrr eithaf, yr hwn sydd wedi ei ffurfio yn y fath fodd ag y tebyga i ben hwrdd, oddiwrth yr hwn y mae yn cael ei enw. Yr hwrdd-dyrnodiol a gyfodir i'r awyr wrth raffau yn myned heibio i'w ganol, ac yn sefyll ynghrôg megis mantol cloriau oddiwrth ei gynhaliad gan dylath neu drawst arall; a'u cyplu â thylathau cryfion ar bob tu iddo ar ddull croes.

* Gwel Matth. xxviii. 2.

Wedi tynnu'r offeryn hwn yn ei ol gan nifer mawr o ddynion yn gydnerthol, ac yna ei yrru yn ei flaen gan yr un dynion, gyd â sŵn tramawr, y mae'n dryllio'r muriau â'r rhan haiarnaidd o hono ag sydd yn gogwyddo ym mlaen. Ac nid oes un tŵr mor gadarn, neu furiau mor galed, ag a ddichon wrthsefyll ei ddyrnodiau cyntaf, ond y cwbl a orfydd iddynt syrthio tano ef. Dyma oedd y prawf-offeryn yr hwn y gwnaeth y cad-flaenor Rhufeinig ddefnydd o hono, pan oedd â'i ogwydd yn gyfan-gwbl ar gymmeryd y ddinas; wedi profi ei hir-arhosfa ar y maes yn anfanteisiol, o herwydd na adawai yr Iuddewon un amser lonydd iddo. Felly y Rhufeiniaid yma a ddygasant eu hamryw offerynau i niweidio'r gelyn yn nes at y muriau, fel y cyrhaeddent y cyfryw ag oedd ar y mur, gan ymdrechu i rwystro eu cynnygiadau, tra'r oeddynt yn ergydio cerrig a phiccellau attynt. Yn yr un modd y daeth y saethyddion, a'r ergydwyr cerrig yn agosach at y mur. Hyn a ddug bethau i'r fath amgylchiad, na feiddiai neb o'r Iuddewon esgyn ar y muriau. Ac yna y bu i'r Rhufeinwyr eraill ddwyn y peiriant dyrnodiol, yr hwn a orchuddid gan y clwydi i gyd trosodd; a'i gwrr uchaf a ddiogelid gan grwyn yn ei orchuddio; y rhai oedd gysgod iddynt eu hunain hefyd yn gystal a'r peiriant. Yn awr ar ddyrnod cyntaf yr offeryn hwn y mur a grynodd, a gwaedd arswydus a wnaethpwyd gan y bobl yn y ddinas, fel pe buasent eisoes wedi eu cymmeryd.

Yn awr pan welodd Josephus y peiriant hwn yn ergydio ar yr un lle, ac y bwrid y mur yn fuan i lawr ganddo, fe ymroddodd i ddiddymmu tros amser rym yr offeryn. Gyd â'r amcan hwn fe barodd lenwi sachau â pheiswyn, a'u crogi i lawr gogyfer a'r lle hwnnw ag ydoedd yn cael ei ddryllio; fel y troid y dyrnodiau o'r neilldu, neu y gwneid llai o niweid i'r fan trwy fod i'r peiswyn esmwythâu'r ergydion. Y ddyfais hon a barodd hir oediad i ymgais y Rhufeiniaid; o herwydd er iddynt symmud eu peiriant lle y mynnent, hwythau a symmudent eu sachau, ac a'u gosodent gyferbyn a'r ergydion a wnelid ganddo, fel nad oedd y mur mewn un ffordd yn cael ei niweidio, a hynny trwy droi ymaith yr ergydion: nes o'r diwedd i'r Rhufeiniaid ddychymmyg dyfais wrthwynebol, trwy wneuthur trostanau hirion; a chan glymmu bachau ar eu naill ben, hwy a rwygasant i lawr y sachau. Yn awr wedi i'r hwrdd dyrnodiol fel hyn adnewyddu ei rymmusder, a'r mur yr hwn ydoedd o waith diweddar yn gwyro; Josephus, a'r rhai oedd o'i amgylch, yn uniongyrch a gymmerasant dân i'w hamddiffyn eu hunain. Yn ganlynol hwy a gymmerasant pa sychwydd bynnag oedd ganddynt; gan ruthro allan dair o ffyrdd, a gosod y peiriannau a'r clwydi, ynghyd â gweithiau eraill y Rhufeiniaid ar dân. Ac ni wyddai y Rhufeiniaid yn iawn pa amddiffyn i'w wneuthur, gan eu bod ar unwaith wedi eu meddiannu â'r fath syndod wrth hyfdra yr Iuddewon; a chan lestair iddynt o herwydd y fflamau, rhag dyfod i achub eu hofferynau. Canys a'r defnyddiau oll yn sychion, gyd â'r pŷg a'r brwmstan oedd yn eu mysg, ymaflodd y tân ynddynt oll yn ebrwydd: a'r hyn a barodd hir lafur a chost i'r Rhufeiniaid, a ddifawyd mewn un awr.

Ac yma rhyw Iuddew neillduol a ymddangosodd yn deilwng o ganmoliaeth. Mab ydoedd efe i Sameas, ac a elwid Eleazar, yr hwn a anesid yn Saab, yn Galilea. Y dyn yma a gododd i fynu faen o bwysau mawr, ac a'i bwriodd i lawr oddi ar y mur ar ben yr hwrddbeiriant; a hynny gyd â'r fath nerth, fel y torrodd ben-yr offeryn ymaith. Efe hefyd a neidiodd i lawr, a chymmerodd ymaith ben yr hwrdd o'u canol hwynt; ac yn ddi ddychryn, a'i dygodd i fynu ar y mur; a hyn tra'r oedd yn aros yn nod cymmwys i fwrw atto gan ei holl elynion. Yn ganlynol fe dderbyniodd yr ergydion ar ei gorph noeth, ac a glwyfwyd gan bump o biccellau. Ac nid ystyriodd ddim o honynt, tra'r oedd yn dychwelyd i fynu i ben y mur; lle y safodd yn eu gwydd hwynt oll fel arwydd o'r gwroldeb mwyaf. Ar ol yr hyn yr ymdynnodd ei hun ar bentwr, gyd â'i archollion arno; ac, ynghyd â phen yr hwrdd, fe syrthiodd i lawr. Yn nesaf atto ef dau frodyr a ddangosasant eu cefnogrwydd: eu henwau oedd Nerir a Philip, o'r pentref Roma, a phob un o honynt yn Galilead hefyd. Y dynion hyn a neidiasant ar filwyr y degfed lleng; ac a syrthiasant ar y Rhufeiniaid gyd â'r fath rym a chyffro, ag i beri annhrefn yn eu rhesau, a dodi i ffoi y rhai oll a ymosodasant arnynt.

Ar ol cyflawniadau y dynion, hyn Josephus, gyd ag eraill o'r lliaws, a gymmerasant lawer o

dân ac a losgasant y peiriannau, a'r hyn oedd yn eu gorchuddio hwynt gyd â'r gweithiau perthynol i'r pumed a'r degted lleng; y rhai a ddodasant i ffoi: pan y canlynwyd hwynt gan eraill yn ddioed; y rhai a gladdasant yr holl offerynnau a'u defnyddiau tan y ddaear. Pa fodd bynnag, yn yr hwyr, y Rhufeiniaid a osodasant i fynu eu hwrdd-dyrnodiol drachefn, yn erbyn y rhan hynny o'r mur a gurasid o'r blaen: pan y darfu i ryw Iuddew ag oedd yn amddiffyn y ddinas yn erbyn y Rhufeiniaid, daraw Vespasian â phiccell yn ei droed, a chlwyfo ychydig arno; gan fod y pelldra mor fawr na allai y biccell wneud ond ychydig o'i hol wedi disgyn o'r fath bellder. Pa fodd bynnag hyn a barodd gyffro mawr ym mysg y Rhufeiniaid. Canys wedi i'r rhai a safasant yn agos atto weled y gwaed, hwy a ddychrynasant o'i herwydd; a sŵn a aeth o amgylch trwy 'r holl fyddin fod y y penciwdawd wedi ei glwyfo. Ar yr hyn y gadawodd y rhan fwyaf y cynllwyn, ac y daethant tan gyd-redeg gyd â braw a syndod at eu penllywydd. Ac o'u blaenau oll y daeth Titus, o herwydd y gofal oedd ganddo tros ei dad: yn gymmaint a bod yr holl liaws mewn terfysg mawr, a hynny o herwydd y parch a'u meddianai i'w cad-lywydd; ac ar gyfrif yr ing yr oedd ei fab ynddo. Etto darfu i'r tad yn fuan roddi terfyn ar ofnau'r mab, a'r terfysg yr oedd y fyddin tano. A chan ymddangos uwchlaw teimlad ei boen, ac yn ymdrechu i gael ei weled yn ebrwydd gan yr holl fyddin, fe'u hannogodd i ymladd yn fwy tanbaid â'r Iuddewon. Ac yn awr yr oedd pawb yn ewyllysgar i wynebu 'r peryglon mwyaf, mewn trefn i ddial eu cadlywydd arnynt: ac yna 'r annogasant eu gilydd gyd â lleisiau uchel, ac y rhedasant gyd â brys at y muriau.

Ond etto cyfeillion Josephus, er syrthio o honynt yn feirwon i lawr y naill ar gefn y llall, trwy'r saethau a'r cerrig a ddisgynnai arnynt oddi wrth y peiriannau; etto ni ymadawsant â'r caerau; ond a syrthiasant ar y rhai oedd yn gyrru 'r hwrdd-beiriant i weithredu, tan gysgod y clwydi, gyd â thân, ac arfau heiyrn, a cherrig. Ac ni allodd y rhai hyn wneud ond ychydig, ond a gwympasant eu hunain yn olynol; tra y gwelid hwynt gan y rhai na allent hwy eu gweled. Canys goleu eu tân eu hunain a ddisgleiriodd o'u hamgylch, ac a'u gwnaeth yn nôd tra amlwg i'r gelyn; fel pe buasai wrth liw dydd. Pryd na ellid canfod yr offerynnau o fawr bellder; ac felly 'r hyn a deflid attynt oedd anhawdd ei ochelyd. Canys y nerth gyd â pha un yr ergydiau y peiriaint gerrig a phiccellau, a barodd iddynt niweidio llawer ar yr unwaith: a sŵn nerthol y cerrig a deflid gan yr offerynnau ydoedd mor fawr, fel y gyrrasant ymaith binnaclau 'r mur, ac y drylliasant gonglau 'r tŷrrau. Canys ni allai un corph o ddynion fod mor gadarn, ag i beidio cael eu hymchwel i'r rhes olaf wrth faintioli 'r cerrig. A phawb a all ddeall am nerth y peiriannau trwy'r hyn a ddigwyddodd y nos hon. Canys fel yr oedd un o'r rhai ydoedd ynghylch Josephus, yn sefyll wrth y mur, dygwyd ymaith ei ben gan un o'r cerrig hynny; a'r benglog a ergydiwyd cyn belled a thair 'o stadau. Yn y dydd hefyd, gwraig feichiog ar ei dyfodiad allan o'i thŷ, a chwyrn-darawyd yn y fath fodd ag y dygwyd ei choflaid oddi wrthi hanner ystâd o bellder, gan mor fawr oedd nerth y peiriant. Trwst y peiriannau eu hunain ydoedd yn dra dychrynllyd; a swn y piccellau a'r cerrig a deflid ganddynt oedd felly hefyd. O'r un natur hefyd ydoedd lleisiau y rhai a fyddent feirw, wrth eu taraw ynghyd â'r muriau. Ac yn wir ofnadwy oedd y waedd a wnaethpwyd ymhlith y gwragedd o fewn y ddinas: yr hyn a ddadswnid yn ol gan lefau a chri y rhai a leddid; pan oedd yr holl fesur o dir ym mha un yr ymladdasant yn llifeirio gan waed: ac fe ellid esgyn i fynu ar y mur tros gyrph meirwon, gan y fath bentyrau mawrion oeddynt: y mynyddau hefyd a chwanegent at y twrwf, trwy y dadseiniad oedd ganddynt. Ac nid oedd yno y nos honno un math o ddychryn yn eisiau, ag a allai effeithio ar y clyw na'r golwg. Etto darfu i'r rhan fwyaf o'r rhai a ymladdasant mor galed tros Josephus gwympo mewn gwroldeb; megis ag y darfu i ran fawr a glwyfwyd o honynt. Pa fodd bynnag y wiliadwriaeth fore a ddaeth cyn i'r mur wyro, a rhoddi lle i'r offerynnau a ddefnyddid yn ei erbyn, er curo arno gan y peiriannau yn ddiorphwys. Eithr y rhai oddi mewn a orchuddiasant eu hunain â'u harfogaeth, ac a godasant weithau gyferbyn â'r rhan hynny o'r mur a daflwyd i lawr, cyn gosod yr offerynnau i fynu,

trwy y rhai yr oedd y Rhufeiniaid i esgyn i'r ddinas.

Yn y boreu Vespasian a gafodd ei fyddin yng-hyd, mewn trefn i gymmeryd y ddinas trwy drais, ar ol ychydig o orphwysiad, wedi 'r llafur blin a gawsent y nos o'r blaen. Ac fel yr oedd yn ewyllysio tynnu ymaith y rhai a'i gwrthwynebent oddiwrth y manau o'r mur a daflesid i lawr, parodd i'r rhai gwrolaf o'r gwŷr meirch gymmeryd allan eu ceffylau, a gosododd hwynt yn dair rhes, ar gyfer y lleoedd dinystriol hynny o'r mur; ond wedi eu gorchuddio â'u harfogaeth ar bob tu, a phawl yn eu dwylaw: fel wrth hynny y byddai iddynt ddechrau eu hesgynfa, cyn gynted ag y gosodid yr offerynau pwrpasol ar waith i'r diben hwnnw. Y tu ol iddynt hwy fe osododd flodau y gwŷr traed. Ond am eraill o'r gwŷr meirch, fe barodd iddynt ymestyn eu hunain gyferbyn a'r mur, tros yr holl fryn, mewn trefn i ragflaenu rhag i neb ddiangc o'r ddinas pan gymmerid hi. A thu ol i'r rhai hyn fe osododd y saethyddion o amgylch, gan orchymmyn iddynt fod â'u piccellau yn barod i saethu. Yr un gorchymmyn a roddodd i'r ergydwyr cerrig, a'r rhai oedd yn trin y peiriannau; a pharodd iddynt gymmeryd i fynu ysgolion eraill, a'u ceisio yn barod i'w gosod ar y rhanau eraill o'r mur ag oeddid etto heb gyffwrdd â hwynt: fel y byddai i'r rhai gwarchaedig gael eu rhwymo i ymdrechu gwrthsefyll eu hesgyniad ar hyd yr ysgolion, a gadael heibio wylied y rhannau hynny ag oedd wedi eu bwrw i lawr; tra fyddai y lleill o'r Iuddewon wedi eu gorchfygu gan y saethau a fwrid attynt, a pheri dyfodiad rhwydd i'w wŷr i'r ddinas.

Ond Josephus yn deall meddwl Vespasian, a osododd yr hen wŷr, gyd â'r rhai diffygiol eraill, wrth fanau cyfain y mur, tan ddisgwyl na fyddai dim niweid i'w ddisgwyl o'r lleoedd hynny, ond fe osododd y rhai mwyaf nerthol o'i wŷr wrth yr adwyau a dorrasid yn y caerau: ac o'u blaenau oll chwech o wŷr wrthynt eu hunain: y'mhlith y rhai y cymmerodd ei hun ran o'r peryglon cyntaf a mwyaf. Rhoddodd hefyd orchymmyn, pan wnelai'r llengau floedd, ar iddynt attal eu clustiau, fel na ddychrynent wrtho; ac i ochelyd picellau y lliaws o elynion, fod iddynt blygu i lawr ar eu gliniau, a chysgodi eu hunain â'u tarianau, a chilio o honynt yn eu hol tros ychydig, nes i'r saethyddion waghau eu cawellau. Ond pan fyddai i'r Rhufeiniaid osod eu hofferynau i esgyn ar y muriau, yna bod iddynt hwythau neidio yn mlaen yn ddisymmwth, a chyd â'u hofferynau eu hunain gyfarfod â'r gelyn; a bod i bob un y pryd hynny ymdrechu i wneuthur ei oreu, mewn trefn i achub ei ddinas ei hun, fel pe byddai bossibl ei chadw; ac mewn trefn i'w dial pan fyddai eisoes wedi ei difetha: a bod iddynt hwy ddangos o flaen eu llygaid y modd yr oedd eu hynafgwyr i gael eu lladd, a'u plant a'u gwragedd i gael eu difetha yn uniongyrch gan y gelyn: ac y byddai iddynt hwy yn mlaen llaw arferyd eu holl gynddaredd, ar gyfrif y trallodion oedd yn dyfod arnynt, a'i dywallt allan ar yr awdwyr o honynt.

Fel hyn y darfu i Josephus drefnu y naill gorph a'r llall o wŷr oedd tan ei ofal. Ond y rhan ddiddefnydd o'r dinasyddion, y gwragedd a'r plant, pan welsant eu dinas wedi ei hamgylchu â byddin driphlyg; (canys nid oedd neb o'r gwarchawdlu arferol a fuasai yn ymladd o'r blaen wedi eu symmud;) pan welsant hefyd fod nid yn unig y muriau wedi eu bwrw i lawr, ond eu gelynion â'u cleddyfau yn eu dwylaw: megis hefyd y bryniau uwchlaw iddynt yn disgleirio gan eu harfau; a'r piccellau yn nwylaw'r saethyddion Arabaidd, gwnaethant gri a dolefain mawr oblegid y dinystr a'u goddiweddodd, fel pe buasai'r trueni nid yn unig yn cael ei fygwth, ond wedi dyfod yn weithredol. Ond Josephus a orchymmynodd i'r menywaid gael eu cauad i fynu yn eu tŷau, rhag iddynt wneuthur ymdrechiadau'r gwŷr yn fwy dieffaith, trwy beri iddynt ofidio am eu cyflwr: ac a archodd iddynt, tan boen cospedigaeth i attal eu llefau: pan y daeth ei hun, o flaen y bwlch a dorrasid yn y caerau, lle y disgynasai ei goelbren. Canys am y rhai a ddygasant ysgolion at fanau eraill, ni wnaeth ddim sulw o honynt, ond a fanwl ddisgwyliodd am y gawod o saethau oedd ar ddyfod.

Yn awr udganwyr yr amryw lengau Rhufeinaidd a gyd swniasant yr utgyrn; a'r fyddin a wnaeth floedd arswydus: a'r saethau, fel y gorchymynasid, a hedasant mor aml ag y tywyllasant yr awyr. Pa fodd bynnag gwŷr Jos-

ephus a gofiasant y gorchymmyn a roddasai efe iddynt, trwy attal eu clustiau rhag sŵn, a'u gorchuddio eu cyrph rhag disgyniad y piccellau; ac am y peiriannau oedd barod i'w dodi ar waith yr Iuddewon a ruthrasant allan arnynt, cyn i'r rhai ag oedd i'w defyddio ddyfod attynt: ac ar esgyniad y milwyr bu ymdrech caled rhyngddynt, a llawer ymegniad a wnaethpwyd gan y dwylaw a'r enaid; tra'r oedd yr Iuddewon yn taer chwennych, er y mawr berygl yr oeddynt ynddo, i beidio dangos llai o gefnogrwydd na'r rhai ag oedd yn ddiberygl yn ymladd i'w herbyn.

Ac ni adawsant heibio ymsyson â'r Rhufeiniaid nes iddynt un a'i syrthio yn feirwon eu hunain, neu ladd eu hymrysonwyr. Ond yr Iuddewon a flinasant ar wastadol amddiffyniad o honynt eu hunain; ac nid oedd ganddynt rifedi digonol o wŷr i newid a chymmeryd lle eu gilydd; pan ar du y Rhufeiniaid yr oedd rhai o newydd yn dyfod yn lle eraill a ddiffygient, ac yn esgyn i fynu ar yr offerynnau, pan fwrid y lleill i lawr. Y rhai hyn a gefnogent eu gilydd; a chan ymgyssylltu y naill wrth ochr y llall â'u tariannau, y rhai oedd yn ymddiffyn iddynt, hwy a ddaethant yn gorph na ellid ei wahanu: ac megis y darfu i'r lle hwn yrru ymaith yr Iuddewon, fel pe buasent eu hunain ond un corph, hwy a ddechreuasant eisoes ddyfod ar y mur.

Yn y cyfyngder hwn Josephus a gymmerodd agnenrheidrwydd yn gyngorydd iddo, (yr hwn angenrheidrwydd sydd dra chelfyddgar mewn dychymmygion, pan yrrer ef i hynny gan anobaith;) ac a roddes orchymmyn ar fod iddynt dywallt olew berwedig ar y rhai ag oedd a'u tariannau yn eu hamddiffyn. Ar yr hyn hwy yn ebrwydd a'i ceisiasant yn barod: ac fel yr oedd llawer yn ei barattoi, a'r mesur oedd ganddynt o hono yn fawr, hwy a'i tywalltasant o bob tu ar bennau y Rhufeiniaid, gan fwrw eu llestri i lawr gyd ag ef, tra'r oeddynt yn chwithrwd neu sïo gan wres y tân. Hyn a losgodd y Rhufeiniaid mor dost, fel y gwasgarodd y llu cyssylltedig hwnnw, y rhai yn awr a dreiglasant oddi ar y mur tan boenau echryslon: canys yr olew a redai i lawr yn esmwyth tros eu holl gorph, o'u pen i'w traed, o' dan eu holl arfogaeth, ag ydoedd yn bwytta ei cnawd fel tân ei hun: a natur ei frasder a barai iddo losgi yn fuan, a bod yn hir yn oeri. Ac fel yr oedd y milwyr wedi eu rhwymo i fynu â'u penwisgoedd ac â'u dwyfronnegau, ni's gallent mewn un ffordd ryddhau eu hunain oddi wrth yr olew llosgedig hwn: ac ni allasant ond yn unig lammu ac ymdreiglo eu hunain o amgylch tan eu poenau, fel y bu iddynt syrthio i lawr oddi ar y pontydd a wnaethent. Ac fel y curwyd hwynt yn eu hol wrth hyn, a chilio o honynt at eu plaid eu hunain, y rhai o hyd a'u gwthient ym mlaen, hwy a glwyfid yn hawdd gan y rhai oedd o'r tu ol iddynt.

Pa fodd bynnag, tan yr aflwyddiant hwn o dŷ y Rhufeiniaid, ni adawodd eu cefnogrwydd hwynt; ac nid oedd eisiau callineb yn yr Iuddewon i'w gwrthwynebu. Canys y Rhufeiniaid, er canfod o honynt eu gwŷr wedi eu bwrw i lawr, ac mewn cyflwr gresynus; etto'r oeddynt â'u gogwydd yn greulondeb yn erbyn y rhai a dywalltasent yr olew arnynt: tra'r oedd pob un yn gwaradwyddo yr hwn a fyddai o'i flaen fel un diddewr, ac yn rhwystr iddo i ymegnio ei hun. Yn y cyfamser yr Iuddewon a dywalltasant ryw ddefnydd llithredig arall yn dwymn ar y byrddau a sengid gan y milwyr Rhufeinig, mewn trefn i wneud iddynt lithro, a chwympo i lawr. Trwy ba foddion ni allai y rhai a ddeuent i fynu, na'r sawl a elent i lawr, sefyll ar eu traed. Ond rhai o honynt a syrthiasant yn ol ynghyd a'r peiriannau trwy ba rai yr esgynasent, ac a sathrwyd i lawr tan traed. Llawer o honynt a syrthiasant ar y gwrthglawdd a godasent; ac ar eu cwymp hwy a leddid gan yr Iuddewon. Canys pan na allai y Rhufeiniaid sefyll ar eu traed, a'r Iuddewon wedi eu rhyddhau oddi wrth ymladd lawlaw, yr oeddynt yn cael odfa i daflu eu piccellau attynt. Felly y penciwdawd a alwodd ymaith ei filwyr yn yr hwyr, y rhai a ddioddefasent mor anafus; o ba rai nid bychan oedd nifer y lladdedigion; a rhifedi y rhai a glwyfwyd oedd etto yn fwy, pan ddygwyd ymaith ychwaneg na thri chant. Yr ymladdfa hon a ddigwyddodd ar yr ugeinfed dydd o'r mis Desius neu Sivan.

Ar hyn Vespasian a gysurodd ei fyddin, ymherthynas i'r achlysur o'r pethau a ddigwyddasant. Ac fel y cafodd hwynt yn wir tan anfoddlonrwydd; ac yn hytrach mewn eisiau o ryw beth i'w wneuthur, nag i wrando cynghorion

ymhellach; fe roddodd gan hynny orchymmyn i gyfodi y gwrthgloddiau yn uwch, ac i adeiladu tri o dyrau, a phob un yn ddeg cufydd a deugain o uchder; a bod iddynt eu gorchuddio â dalenau o haiarn ar bob ochr, fel y byddent yn gadarn o herwydd eu pwysau, ac yn annarostyngol i dân. Y tyrau hyn a wnaethpwyd ar y gwrthglawdd neu fryncyn: ac a osododd ynddynt y cyfryw ddynion ag a fedrai ergydio piccellau a saethau, gyd â'r peiriaint ysgafnaf a daflai gerrig a phiccellau hefyd: ac heblaw y rhai hyn fe osododd ar y tyrau y dynion mwyaf nerthol ym mysg yr ergydwyr: y rhai fel na welid hwynt o herwydd yr uchder yr oeddynt yn sefyll arno, a'r canllawiau ag oedd yn eu cysgodi hywnt, a allent fwrw eu saethau at y rhai oedd ar y mur, pa rai oedd yn amlwg iddynt. Ar hyn yr Iuddewon, pan na's gallent yn hawdd ddiangc rhag y piccellau a saethid i i lawr ar eu pennau, na dial eu hunain ar y rhai na allent eu gweled; ac yn canfod fod uchder y tyrau mor fawr, fel na byddai i biccell a daflent o'u llaw ond yn brin ei gyrhaeddyd; a bod y dalennau haiarn o'u hamgylch yn ei wneud yn anhawdd dyfod attynt â thân; hwy a giliasant ymaith oddi ar y muriau, ac a ffoasant ar frys allan o'r ddinas, gan syrthio ar y rhai a saethai attynt. Ac fel hyn y darfu i bobl Jotapate wrthwynebu y Rhufeiniaid; pan oedd llawer o honynt yn cael eu lladd yn feunyddiol, heb allu talu'r niweid yn ol i'w gelynion. Ac nis gallent eu cadw allan o'r ddinas heb beryglu eu hunain yn fawr.

Ynghylch y pryd hwn Vespasian a ddanfonodd Trajan allan yn erbyn dinas Japha, yr hon oedd yn gorwedd yn agos Jotapata, a chwennychiad ynddi i wrthryfela; wedi ymchwyddo ar gyfrif meithder annisgwyladwy gwrthwynebiad Jotapata. Y Trajan hwn ydoedd lywydd y degfed lleng. Ac i'w ofal ef y rhoddodd Vespasian fil o wŷr meirch, a dwy fil o wŷr traed. Wedi i Trajan ddyfod at y ddinas, fe'i cafodd yn anhawdd ei chymmeryd; canys heblaw cadernid naturiol ei sefyllfa, yr ydoedd hefyd wedi ei diogelu â mur dwbl. Ond pan ganfu bobl y ddinas hon yn dyfod allan i'w erbyn, ac yn barod i ymladd ag ef, fe gyssylltodd frwydr â hwynt, ac ar ol ychydig o wrthwynebiad a wnaethant, pan giliaist ymaith, efe a'u herlidiodd hwynt. Ac fel yr oeddynt yn ffoi o fewn eu mur cyntaf, y Rhufeiniaid a'u dilynasant gyd â'r fath agosrwydd, ag y cwympasant i mewn ynghyd â hwynt. Sicr gan hynny ydoedd, mai Duw a ddygodd i mewn i'r wlad y Rhufeiniaid, yn gospwyr ar yr Galileaid, a dodi pobl y ddinas bob un o honynt yn amlwg i gael eu difetha gan elynion creulon. Canys hwy a redasant at y pyrth yn dorfeydd mawrion, gan daer alw ar y rhai a'u cadwent, a hynny hefyd wrth eu henwau; etto eu lladd a wnaed, a thorri gwythi eu gwaed yn nghanol eu herfyniadau. Canys y gelyn a gauodd i fynu byrth y mur cyntaf; a'r dinasyddion yr ail. Felly hwy a amgylchynid gan ddau fur, ac a laddwyd yn rhifedi mawr ynghyd. Llawer o honynt a redwyd trwodd â chleddyfau eu gwŷr eu hunain; ac amryw â'r cleddyfau perthynol i'r rhai a leddid ganddynt; heblaw rhifedi aneirif a laddwyd gan y Rhufeiniaid. Ac nid oedd cefnogrwydd ganddynt i ddial eu hunain. Canys fe chwanegwyd at y dychryn yr oeddynt ynddo oddiwrth y gelynion, eu bradychiad gan eu cyfeillion eu hunain, yr hyn a gwbl wanhaodd eu hysprydoedd; ac yn y diwedd buont feirw, gan felldigo, nid y Rhufeiniaid, ond eu dinasyddion eu hunain, nes eu difetha oll; a hwy yn ddeuddeng mil o nifer. Felly Trajan a gasglodd, fod y ddinas yn wag o ddynion a allai ymladd; ac er y gallai fod yno rai o honynt, meddyliodd eu bod yn rhy ofnus i wneuthur unrhyw wrthwynebiad. Felly fe adawodd orphen cymmeryd y ddinas i'r penciwdawd. Yn ganlynol, fe ddanfonodd at Vespasian, i ddymuned arno ddanfon ei fab Titus, i orphen y fuddugoliaeth a ynnillasai efe. Vespasian ar hyn yn dychymmygu y gallai fod rhyw anhawstra yn aros i gymmeryd y ddinas, a ddanfonodd ei fab gyd â byddin o bum cant o wŷr meirch; a mil o wŷr traed. Felly fe ddaeth ar fyrder at y ddinas, gan drefnu ei fyddin, a gosod Trajan i olygu'r asgell aswy, tra'r ydoedd yr un ddehau ganddo ei hun yn eu harwain i'r cynllwyn. A phan ddygodd y milwyr yr ysgolion i'w gosod yn erbyn y mur ar bob tu, y Galileaid tros amser, uwchlaw iddynt a'u gwrthwynebodd, ond yn fuan ar ol hynny hwy a adawsant y muriau. Yna y darfu i wŷr Titus neidio trosodd i'r ddinas, a'i goresgyn yn ddioed. Ond wedi i'r rhai oedd

ynddi ddyfod ynghyd, brwydr echryslon a ganlynodd rhyngddynt. Canys y gwŷr cedyrn a syrthiasant ar y Rhufeiniaid yn yr heolydd culion; a'r gwragedd a ergydiasant pa beth bynnag a ddeuai i'w dwylaw attynt; a hwy a gynnaliasant ymladdfa tros chwech o oriau. Ond wedi i'r gwŷr ymladdgar ddiffygio, y gweddill o'r lliaws a ddifethwyd trwy dorri eu gwythi, a hynny rai o honynt tan yr awyr, ac eraill yn eu tŷau; yn gystal yr ieuaingc a'r hên ynghyd. Felly nid oedd dim gwrrywaid yn awr yn aros, heblaw y mabanod, y rhai gyd â'r menywaid, a ddygwyd ymaith yn gaethion. Felly nifer y rhai a laddwyd yn awr yn y ddinas, ac yn yr ymladdfa o'r blaen, ydoedd bymtheng mil; a'r caethion oeddynt ddwy fil, un cant a deg ar hugain.

Ac ni ddiangodd y Samariaid rhag eu rhan o drallodion yr amser hwn. Canys hwy a ymgasglasant ynghyd ar fynydd Gerizzim, yr hwn ganddynt hwy a gyfrifir yn fynydd sanctaidd, ac yno yr arosasant. Yr ymgynhulliad hwn o'r eiddynt, yn gystal â'r meddyliau gwrol a ddangosasant, ni allai amgen na bod yn bygythio rhyw beth o ryfel. Ac ni wnaethpwyd hwynt yn ddoethach trwy'r trueni a oddiweddodd y dinasoedd cymmydogaethol. Hwynthwy hefyd, er y llwyddiant a gawsai y Rhufeiniaid, a gyrchasant yn mlaen mewn modd afresymol; gan ymddibynnu ar eu gwendid eu hunain, ac yn barod i un math o derfysg ar ei ymddangosiad cyntaf. Vespasian gan hynny a dybiodd yn oreu ragflaenu eu cynnyrfiadau, a thorri ymaith sail eu hanturiaethau. Canys er bod holl Samaria â chanddynt eu gwersylloedd yn sefydlog yn eu plith; etto darfu i nifer y rhai a ddaethant i fynydd Gerizzim, a'u cydfradwriaeth, roddi sail i ddrwg-dybio eu hamcan i wrthryfela. Danfonodd yno, gan hynny, Cerealis, cadflaenor y bummed lleng, gyd â chwe chant o wŷr meirch, a thair mil o wŷr traed; y rhai ni feddyliasant yn ddiberygl i fyned i fynu i'r mynydd i wneuthur brwydr â hwynt, o herwydd fod cynnifer o'r gelynion ar y tir uchaf. Felly fe amgylchodd holl ran isaf y mynydd â'i luoedd, ac a'u gwyliodd tros yr holl ddydd hwnnw. Yn awr fe ddigwyddodd fod y Samariaid, y rhai oeddynt yn ymddifad o ddwfr, wedi eu gorchfygu â gwres tanbaid, (canys amser haf ydoedd, ac ni ddygasai'r lliaws angenrheidiau gyd â hwynt;) yn gymmaint ag y bu rai o honynt feirw y dydd hwnnw gan y gwres, tra y darfu i eraill ddewis eu caethiwo o flaen y fath farwolaeth, ac a ffoisant at y Rhufeiniaid. Trwy y rhai y deallodd Cerealis, fod y rhai a arosasant etto yno wedi digaloni yn fawr oblegid eu cyfyngder. Felly fe aeth i fynu i'r mynydd, ac wedi amgylchu'r gelyn â'i luoedd, efe, yn y lle cyntaf, a'u cynghorodd i wneuthur derbyniad o sicrwydd ei ddeheulaw, a dyfod i ammodau ag ef, a thrwy hynny achub eu hunain: ac a sicrhaodd iddynt os gosodent i lawr eu harfau, y diogelid hwynt rhag unrhyw niweid. Ond pan na ellid eu perswadio, fe'u goddiweddodd ag arfau, ac a'u lladdodd oll; a hwy yn un mil ar ddeg a chwe' chant o nifer. Hyn a wnaethpwyd y seithfed dydd ăr hugain o'r mis Desius, neu Sivan.* A thyma'r distryw a syrthiodd ar y Samariaid y pryd hwn.

Ond fel yr oedd pobl Jotapata etto yn dala allan yn wrol; ac yn ymgynnal tan eu blinderau tu hwnt i'r hyn a ellid ei ddisgwyl; ar y † seithfed dydd a deugain o'r cynllwyn, y gwrth-gloddiau a godwyd gan y Rhufeiniaid a ddaethai yn uwch na'r mur. Ar ba ddiwrnod rhyw enciliwr a aeth at Vespasian, ac a fynegodd iddo pa mor lleied o nifer a adawsid yn y ddinas, ac mor wanned oeddynt: a'u bod wedi eu gwisgo allan gymmaint â gwyliadwriaethau parhaus, ac ymladdfeydd di-orphwys, na's gallent yn awr wrthsefyll unrhyw ymosodiad a wnaed i'w herbyn: ond y gellid eu cymmeryd trwy ryw gyfrwysdra, pe byddai i ymosodiad gael ei wneud arnynt. Canys o amgylch y wyliadwriaeth olaf o'r nos, pan feddylient y gallent gael peth gorphwysdra oddiwrth y llafur blin yr oeddynt ynddo: a phan fyddai trym-

* B. A. 67.

† Dychymmygiad Toinard yn y lle yma, a grybwyllir gan Dr. Hudson, sydd ry gadarn i'w wrthwynebu; sef, y dylid dilêu saith niwrnod o'r cynllwyn hwn, yma ac yn pen. 8, a'r gwir rifedi i gael ei gyfrif yn unig yn ddeugain niwrnod. Gan nad oedd ychwaneg er yr 21 o Artemisius, pryd y daeth Josephus i mewn i'r ddinas o flaen y cynllwyn, hyd y 1af o Panemus, pan gymmerwyd y ddinas. Hyn a ddywedir yn unig oddi ar ddychymmyg mai'r 21 o Artemisius, a'r 1af o Panemus, ydoedd wir ddiwrnodiau dechreuad a diweddiad y cynllwyn hwn. Yr wyf gan hynny yn hytrach yn dewis tybied ddyfod Josephus i mewn i Jotapata ar y 14 o Artemisius, yr hyn a rydd i ni 47 o ddyddiau am barhad y cynllwyn, nag i ddywedyd iddo ddyfod yno ar y 21, a meddwl barhau o'r cynllwyn 40 niwrnod yn unig.

gwsg y boreu yn arferol o ddyfod arnynt, wedi llwyr ddiffygio, dywedodd y byddai'r wyliadwriaeth y pryd hynny yn arferol o syrthio i gysgu. Yn ganlynol y cyngor ydoedd, fod iddynt wneud ymosodiad ar yr awr honno. Ond yr oedd Vespasian yn drwg-dybio yr enciliwr hwn, gan wybod pa mor ffyddlon oedd yr Iuddewon i'w gilydd; a pha gymmaint yr oeddynt yn cashau y cospedigaethau a osodid arnynt. Gwyddai hefyd am un o bobl Jotapata a aethai tan bob math o arteithiau; ac er gwneud iddo fyned trwy brofiad tanllyd gan ei elynion, etto ni roddai ddim hyspysrwydd iddynt am fatterion o fewn y ddinas: ond a wnaeth wên wawdlyd arnynt wrth ei groeshoelio. Pa fodd bynnag, y tebygolrwydd ag a allai fod yn yr adroddiad ei hun, a gadarnhaodd, mewn rhan, wirionedd yr hyn a ddywedodd yr enciliwr wrthynt: a hwy a feddyliasant y gallai, ysgatfydd, ei fod yn dywedyd y gwir. Vespasian hefyd a dybiodd, na allai fod o niweid mawr iddynt hwy os oedd y chwedl yn anwir. Felly fe orchymmynodd iddynt gadw y dyn mewn dalfa: a gwnaeth barottöad ar y fyddin i gymmeryd y ddinas.

Yn ganlynol i'r penderfyniad hwn, hwy a gychwynasant allan yn ddi-sŵn, yn yr awr a ddywedasid at y mur. A Titus ei hun ydoedd yr hwn a esgynodd yn gyntaf arno, gyd ag un o'i drubuniaid, Domitius Sabinus, ac ychydig nifer o'r bymthegfed lleng gyd ag ef. Felly hwy a dorrasant wythi y gwylwyr, ac a aethant i mewn i'r ddinas yn dra distaw a llonydd. Ar ol y rhai hyn y canlynodd Cerealis a Phlacidus, gan arwain ym mlaen y rhai oedd tanynt hwy. Yn awr ar ol cymmeryd y tŵr, a'r gelyn wedi dyfod eisoes i ganol y ddinas; a phan oedd eisoes yn ddydd, ni wybuwyd ei chymmeryd gan y rhai oedd yn ei llywodraethu hi: canys llawer o honynt oedd yn eu trymgwsg, a niwl mawr, yr hwn a ddigwyddodd syrthio o hono y pryd hwnnw ar y ddinas, a rwystrodd i'r rhai a godasent o'u gwelyau rhag gweled yn eglur y cyflwr yr oeddynt ynddo, nes dyfod yr holl fyddin Rufeinig i mewn, ac y codwyd hwy i fynu yn unig i weled y trueni ydoedd wedi dyfod arnynt: ac fel yr oeddid yn eu lladd, gwybuont fod y ddinas wedi ei chymmeryd. Ac am y Rhufeiniaid, yr oeddynt yn cofio mor dda yr hyn a ddioddefasent yn oed amser y cynllwyn, fel nad arbedent ac na thosturient wrth neb: ond hwy a yrrasant y bobl i lawr tros y dibyn, gan eu lladd ar eu mynediad trosodd. Ar ba amser anghyfleusdra'r lle a rwystrodd y rhai a allasent ymladd i amddiffyn eu hunain. Canys fel y cyfyngwyd arnynt yn yr heolydd culion, ac na's gallent fod yn sicr o'u traed ar y goriwared, hwy a orchfygwyd gan dyrfaodd y rhai a ddaethant i ymladd i'w herbyn i lawr o'r tŵr. Hyn a gynhyrfodd lawer o'r dynion dewisol oedd o amgylch Josephus i syrthio ar eu cleddyfau eu hunain. Canys pan welsant na allent ladd neb o'r Rhufeiniaid, hwy a ymroesant i ragflaenu cymmeryd eu lladd ganddynt hwy, ac a ymgasglasant ynghyd yng nghwrr eithaf y ddinas i'w lladd eu hunain.

Pa fodd bynnag, y cyfryw o'r wyliadwriaeth ag a gaufu eu cymmeryd ar y cyntaf, a redasant ymaith mor gyflym ag a allent i un o'r tyrau ar du gogleddol y ddinas, a thros amser a amddiffynasant eu hunain yno. Ond fel yr amgylchwyd hwynt gan liaws o elynion, cynnygiasant wneuthur defnydd o'u deheulaw pan ydoedd ry ddiweddar; ac o'r diwedd, rhoddasant yn siriol i lawr eu gyddfau, i'w lladd gan y rhai a safent uwch eu pen. A'r Rhufeiniaid a allasent ymffrostio ddarfod diweddu y cynllwyn hwnnw heb waed o'u tu hwynt, pe na buasai ar gyfrif Antonïus, yr hwn a laddwyd ar oresgyniad y ddinas. Yr achos o'i farwolaeth a fu 'r fradwriaeth ganlynol. Yr ydoedd un o rai a ffoisant i ogof, pa rai oedd lawer o nifer, yr hwn a ddymunasai ar Antonius roddi iddo ei ddeheulaw er ei ddiogelwch, ac y sicrhai iddo y cadwai ef yn fyw, gan ei gynnorthwyo i ddyfod i fynu o'r ogof. Yn ganlynol, efe yn anochelgar a estynodd iddo ei ddeheulaw; pan ddarfu i un arall ei ragflaenu, ac y brathodd ef â'i gleddyf islaw ei lwynau, ac a'i lladdodd yn y fan.

Ar y dydd hwn y bu i'r Rhufeiniaid ladd yr holl liaws a wnaethant eu hymddangosiad, Ond ar y dydd canlynol hwy a chwiliasant y lleoedd dirgel, ac a syrthiasant ar y rhai oll oedd tan ddaear, ac mewn ogofeydd. Ac a wnaethant y modd hwn â phob oedran, oddigerth y mabanod a'r menywaid: ac o'r rhai hyn y casglwyd ynghyd megis yn gaethion ddeuddeg o

gannoedd. Ac am y rhai a laddwyd ar oresgyniad y ddinas, ac yn yr ymladdfeydd o'r blaen, fe'u cyfrifwyd oll yn ddeugain mil. Felly rhoddodd Vespasian orchymmyn am lwyr ddadymchwel y ddinas, a bod i'r holl amddiffynfeydd gael eu llosgi i lawr. Ac fel hyn y cymmerwyd Jotapata ar y drydedd-ar-ddeg o deyrnasiad Nero, ac ar y dydd cyntaf o'r mis Panemus, neu Tamuz.*

## PENNOD VIII.

*Josephus yn cael ei ddatguddio gan un o'r Gwragedd; ei ymostyngiad o hono ei hun i'r Rhufeiniaid, a'i driniaeth ganlynol gan Vespasian.*

YN awr y Rhufeiniaid a chwiliasant am Josephus, yn gystal ar gyfrif y casineb yr oeddynt yn ei ddwyn tu ag atto, ac oblegid fod eu penciwdawd yn chwennychu yn fawr ei gymmeryd ef: canys fe gyfrifodd pe unwaith y cymmerid ef, y byddai rhan fawr o'r rhyfel wedi myned trosodd. Yna y chwiliasant yn mysg y meirw, ac a edrychasant leoedd dirgelaf y ddinas. Ond fel yr oedd y ddinas yn gyntaf wedi ei chymmeryd, fe gafodd Josephus ei ddiogelu trwy ryw oruwch-naturiol ragluniaeth: oblegid fe dynnodd ymaith ei hun yn ddirgelaidd o blith ei elynion pan ydoedd yn eu canol hwynt; gan neidio i ryw bydew dwfn, yn gyssylltedig â pha un yr oedd ogof ehang, yr hon ni ellid ei gweled gan y rhai a rodient wyneb y tir yn y lle hwnnw. Ac yma y cyfarfu â deugain gwŷr o enwogrwydd, a ymguddiasent eu hunain, gyd â lluniaeth digonol i'w cynnal tros amryw ddiwrnodau. Felly yn y dydd fe ymguddiodd ei hun rhag y gelyn, y rhai a chwilient bob lleoedd; ac yn y nos fe ddeuai i fynu o'r ogof, ac a edrychai o amgylch am ryw le i ddiangc: ond fel yr oeddid yn gwylio mor fanwl ar bob lle o'i blegid ef, nad oedd un ffordd a ellid myned ymaith ar hyd-ddi heb wneuthur ei hun yn weledig, fe ddychwelodd drachefn i'r ffau. Fel hyn yr ymguddiodd ei hun tros ddau o ddiwrnodau. Ond ar y trydydd dydd, pan gymmerodd y gelynion ryw wraig a fuasai gyd â hwynt yn yr ogof, efe a ddatguddiwyd. Ar yr hyn Vespasian a ddanfonodd ddau o dribuniaid, Paulinus a Gallicanus, gan orchymmyn iddynt roddi eu deheulaw i Josephus, fel sicrwydd am arbediad ei fywyd, ac annog i ddyfod i fynu o'r ogof.

Felly hwy a ddaethant ac a wahoddasant y dyn i ddyfod i fynu, gan roddi sicrwydd iddo am arbediad ei fywyd. Ond ni allent ei berswadio ef. Canys fe gasglodd, oddiwrth y tebygolrwydd ag ydoedd am un a wnaethai gymmaint yn erbyn y Rhufeiniaid, fod yn rhaid iddo ddioddef o'i herwydd; er nad gan y rhai o dyner dymherau oedd yn ei wahawdd ef. Pa fodd bynnag, ofni yr ydoedd mai ei wahodd i ddyfod i fynu yr oeddynt mewn trefn i gael ei gospi, nes i Vespasian ddanfon, heblaw y rhai hyn, Nicanor, y trydydd dribun, atto: yr oedd efe yn un ag a adwaenid yn dda gan Josephus, ac a fuasai yn gyfeillgar ag ef yn yr amser gynt. Wedi ei ddyfod ef, fe ymhelaethodd ynghylch tynerwch naturiol y Rhufeiniaid tu ag at y rhai a orchfygid unwaith ganddynt: ac a ddywedodd wrtho, am ddarfod iddo ymddwyn ei hun mor wrol, fod blaenoriaid y fyddin Rufeinig yn hytrach yn ei ryfeddu, na'i gashau: a bod y penciwdawd yn ewyllysio yn fawr ei ddwyn atto ef; nid i'r diben i'w gospi, canys hynny a allai ei wneuthur pe na ddeuai yn ewyllysgar, ond am ei fod yn penderfynu arbed dyn o'i gefnogrwydd ef. Efe ymhelliach a chwanegodd am Vespasian, pe buasai â bwriad i'w dwyllo, ni ddanfonasai atto gyfaill o'r eiddo ei hun, a dodi lliw teg ar y gwaethaf o weithredoedd, trwy honni cyfeillgarwch, ac amcanu bradwriaeth. Ac na ddaethai ei hunan atto, pe buasai i'w dwyllo ef.

Yn awr megis yr oedd Josephus yn rhuso ei hun ynghylch cynnygiad Nicanor, y milwyr a aethant mor ddigllon, fel y rhedasant gyd â brys i fyned i osod yr ogof ar dân. Ond ni adawai y tribun iddynt wneuthur hynny; trwy ei fod yn mawr-chwennychu cymmeryd y dyn yn fyw. Ac yn awr fel yr oedd Nicanor yn cymmell Josephus i gydsyniad, a deall o hono fel yr oedd y lliaws yn ei fwgwth ef, fe alwodd i'w gof y † breuddwydion a freuddwydiasai y nos

*B. A. 67.

† Am y breuddwydion prophwydoliaethol hyn, trwy ba rai y rhagddywedodd Josephus, ym mysg pethau eraill, am ddyfodiad Vespasian a Thitus i'r ymerodraeth Rufeinaidd, yn nyddiau Nero, a chyn i Galba, Otho, a Vitellius gael meddwl am danynt i fod yn ddilynwyr Nero yn yr ymerodraeth; a hyn oll yn cael dwyn tystiolaeth iddo gan Suetonius a Dio, yr historiawyr Rhufeinig: gwel waith Tacitus, Llyfr I. p. 19. II. 1. IV. 81. a'r cyffelyb freuddwyd prophwydoliaethol yn hanes Josephus o'i fywyd ei hun; ac ar fyr yma hefyd.

o'r blaen; trwy 'r hyn yr arwyddasid iddo gan Dduw ymmlaen llaw, y trallodion a ddeuai ar yr Iuddewon, a'r digwyddiadau perthynol i'r ymerawdwyr Rhufeinig. Yn awr yr oedd Josephus yn abl i roddi call ddeongliad o'r fath freuddwydion ag a ddeuent yn ammheus oddi wrth Dduw. Ymhellach nid oedd efe yn anghyfarwydd â'r prophwydoliaethau cynnwysedig yn y llyfrau sanctaidd, gan ei fod yn offeiriad ei hun, ac o hiliogaeth yr offeiriaid. Ar y pryd hynny yr ydoedd mewn tymmer o laweuychiad: a chan ddarlunio yn ei feddwl ddeongliad o'r breuddwydion a welsai yn ddiweddar, danfonodd weddi i fynu at Dduw, ac a ddywedodd, "Gan weled o honot ti yn dda, yr hwn a greaist genedl yr Iuddewon, i wasgu'r unrhyw i iselder; a chan fod eu llwyddiant wedi ei drosglwyddo i'r Rhufeiniaid; a chan wneuthur o honot ddewisiad o'r enaid hwn o'r eiddo fi i ragfynegi pethau i ddyfod ar ol hyn; yr wyf yn ewyllysgar yn rhoddi fy llaw iddynt, ac yn foddlon i fyw. Ac yr wyf yn tystio ar gyhoedd nad wyf yn myned trosodd at y Rhufeiniaid fel enciliwr oddiwrth yr Iuddewon, ond fel gweinidog oddi wrthyt ti."

Wedi iddo ddywedyd hyn, fe gydsyniodd â chymmelliadau Nicanor; ond pan ddarfu i'r Iuddewon hynny a gyd-ffoisant ag ef, ddeall ei fod wedi ymroddi i fyned gyd â'r rhai a'i gwahoddent, hwy a ddaethant yn un corph yn ei gylch, ac a lefasant allan, "Mewn gwirionedd yn awr y gall cyfreithiau ein tadau, y rhai a ordeiniodd Duw ei hun, ocheneidio i bwrpas; y Duw hwnnw, yr ydym yn ei feddwl, yr hwn a greodd eneidiau yr Iuddewon o'r fath dymmer, a'u bod yn dirmygu marw. O, Josephus! a ydwyt etto yn hoffi byw? ac a elli di etto oddef gweled y goleuni mewn stâd o gaethiwed? Pa mor fuan yr anghofiaist dy hun? Pa gynifer a berswadiaist di i golli eu bywyd yn hytrach na'u rhyddid. Ti gefaist gan hynny gau-glod am wrolder; a chyffelyb anhaeddianol glod am ddoethineb, os gobeithi am achubiaeth dy fywyd oddi wrth y rhai yr ymleddaist mor danbaid i'w herbyn, ac wyt yn ewyllysio, pa fodd bynnag, dy gadw ganddynt, os ydynt yn ddifrifol. Ac er i lwyddiant y Rhufeiniaid wneuthur i ti anghofio dy hun; nyni a ddylem ofalu na adawom i ogoniant ein tadau gael ei an-urddo. Nyni a roddwn i ti ein deheulaw, ynghyd â chleddyf. Ac os byddi farw yn ewyllysgar, ti fyddi farw fel cad-flaenor yr Iuddewon; ond os yn anewyllysgar, byddi farw yn deyrn-fradwr iddynt." Cyn gynted ag y dywedasant hyn, dechreuasant estyn eu cleddyfau tu ag atto; gan fygwth ei ladd ef os meddyliai ymroddi ei hun i'r Rhufeiniaid.

Ar hyn Josephus a ofnodd rhag ymosod o honynt arno ef; ac etto meddyliodd y bradychai orchymmyn Duw, os byddai farw cyn eu gwaredu hwynt. Felly fe ddechreuodd lefaru wrthynt fel Philosophydd yn eu cyfyngder, ac a ddywedodd; "O fy nghyfeillion, pa ham yr ydym mor awyddus i'n lladd ein hunain? A pha ham yr ydym yn gosod ein henaid a'n corph, y rhai ydynt gyfeillion mor anwyl, yn y fath wrthwynebiad i'w gilydd? A all rhyw un ddychymmygu nad yr un dyn ydwyf fi yn awr ag o'r blaen? Ië y Rhufeiniaid a wyddant yn dda y modd y mae'r achos yn sefyll. Peth clodfawr yw marw mewn rhyfel, os bydd ond yn unol â chyfreithiau rhyfel, trwy ddwylaw buddugoliaethwyr. Os gan hynny y gochelaf farw trwy gleddyf y Rhufeiniaid, yr ydwyf yn wir yn haeddianol o farw trwy fy nghleddyf fy hun, â'm dwylaw fy hun. Ond os caniattânt hwy drugaredd, ac yr ewyllysiant arbed eu gelyn, pa faint mwy y dylem ni drigarhau wrthym ein hunain, ac arbed ein hunain? Canys ynfydrwydd yn ddiau ydyw i wneuthur i ni ein hunain y peth yr ydym yn ymryson â hwynt yn egniol rhag ei gyflawni arnom. Yr wyt yn cyfaddef yn rhydd mai peth canmoladwy yw marw tros ryddid. Ond etto felly fel ag y byddo mewn rhyfel, ac yn cael ei wneuthur gan rai a fynnent gymmeryd y rhyddid hwnnw oddiarnom. Ond yn yr amgylchiad presennol, nid yw ein gelynion yn cyfarfod â ni mewn brwydr, nac am ein lladd ni. Yn awr, un cydradd o ddigalon yw'r hwn ni fynnai farw, pan orfyddo iddo wneuthur hynny; a'r hwn a fynnai farw, pan nad yw rwymedig iddo. Pa beth yr ydym yn ei ofni pryd nad awn i fynu at y Rhufeiniaid? Ai marwolaeth? Os felly, yr hyn a ofnwn yn ddychymmygol ei ddyfod arnom oddiwrth ein gelynion, a fydd i ni gyd â sicrwydd ei ddwyn arnom ein hunain? Ond fe allai y dywedir y rhaid i ni fod yn gaethweision. Ac a ydym ni mewn cyflwr o ryddid yn bre-

sennol! Gellir dywedyd hefyd mai gweithred o wrolder ydyw i un ladd ei hunain. Nage yn sicr, ond yr un fwyaf anwrol. Meigs ag y cyfrifem fôr-lywydd yn un mwyaf di-hyder, yr hwn, rhag ofn tymmestl, a soddai ei long yn y môr o'i ddewisiad ei hun. Yn awr hunanleiddiad sydd ddrwg-weithred bellaf oddiwrth nattur gyffredinol pob creaduriaid byw; ac yn arwydd digred o Dduw ein Creawdwr. Ac yn wir nid oes un creadur byw a ddarlunia, neu a gais ei farwolaeth ei hun: canys y chwennychiad o fywyd sydd ddeddf wedi ei hargraphu arnynt oll. O ba herwydd yr ydym yn cyfrif y rhai hynny a'i cymmerant oddiarnom yn elynion i ni, a'r rhai a'i gwnant trwy fradwriaeth a gospir am hynny. Ac oni feddyliwch chwi fod Duw yn dra digllon, pan y mae dyn yn gwneud niweid i'r hyn a gyfrannodd efe iddo. Canys nyni a dderbyniasom ein bôd oddiwrtho ef; a'n dyledswydd yw gadael ar ei drefniad i gymmeryd y bôd hwnnw oddiwrthym. Cyrph pob dynion ydynt farwol yn wir, wedi eu crëu o ddefnydd llygredig. Ond yr enaid sydd fyth yn anfarwol, ac yn gyfran o'r Duwdod yn breswyliedig o fewn ein cyrph ni. Heblaw hynny, os difethir, neu os ammherchir gan neb yr hyn a roddwyd atto i'w gadw gan arall, efe a gyfrifir yn un twyllodrus ac yn anghywir. Ond os gwthia neb allan o'i gorph y trigianydd dwyfol hwn, a allwn ni ddychymmygu fod yr un a ddigier trwy hynny heb wybod am dano? Ymhellach, ein cyfraith ni a ofyn, fod i gaeth-weision a redant ymaith oddiwrth eu harglwyddi gael eu cospi, er y dichon y meistri a ymadawant â hwynt fod yn eu gorthrymmu yn annhrugarog. Ac a gynnygiwn ni redeg ymaith oddiwrth Dduw yr hwn yw'r goreu o bob meistri, heb ystyried ein hunain yn euog o ddidduwiaeth? Oni wyddoch fod y rhai sy'n ymadael a'r bywyd hwn yn ol cyfraith natur, ac yn talu yn ol y ddyled a dderbyniwyd oddiwrth Dduw, pan fyddo i'r neb a'i benthyccodd i ni weled yn dda ei ofyn gennym drachefn, fwynhau bythol glod; i fod eu trigfannau a'u hiliogaeth yn sicr, a'u heneidiau yn bur ac yn ufudd, ac yn mwynhau y lle puraf a sancteiddiaf yn y nefoedd. O ba le, yn nhreigliadau'r oesoedd, yr anfonir hwynt drachefn i gyrph puredig. Pan fyddo i eneidiau y rhai y gweithredodd eu dwylaw yn wallgofus yn eu herbyn eu hunain, gael eu derbyn i'r lle tywyllaf yn Hades; a phan fyddo i Dduw, yr hwn yw ein tad ni, gospi y rhai a droseddasant yn erbyn un o honynt yn eu hiliogaeth. Am ba reswm y mae yn ffieiddio y fath weithred: a'r drygwaith a gospir gan ein deddf-roddwr. Yn ganlynol ein * cyfreithiau a benderfynodd, fod i gyrph y rhai a laddant eu hunain gael eu gwneud yn amlwg hyd fachludiad haul, heb gladdedigaeth: er ar yr un pryd ei fod yn gyfreithlon yn gynt i gladdu ein gelynion. Cyfreithiau cenhedloedd eraill hefyd sydd yn gorchymmyn i ddwylaw y cyfryw ddynion gael eu torri ymaith, pan fyddont feirw, y rhai a ddefnyddiasid i ladd eu hunain pan oeddynt yn fyw: pan y cyfrifent, megis ag yr oedd y corph wedi ei alltudio oddiwrth yr enaid, felly yr oedd y ddwylaw i'w halltudio oddiwrth y corph. Y mae'n beth cymmwys gan hynny i ni, fy nghyfeillion, ymresymmu yn gyfiawn; ac i beidio chwanegu at y blinderau a ddygodd dynion arnom, ddidduwiaeth tu ag at ein Creawdwr. Os ewyllysiwn achub ein hunain gadewch i ni ei wneuthur. Canys i gael ein harbed gan ein gelynion, i ba rai y gwnaethom gymmaint dangosiad o'n gwrolder, nid yw mewn un modd yn anghlodfawr. Ond os ewyllysio marw'r ydym, da yw i ni farw trwy ddwylaw y rhai a fuddugoliaethodd arnom. O'm rhan i, ni redaf trosodd i wersyllfa ein gelynion, mewn trefn i fod yn fradychwr i'm fy hun. Canys yn sicr wrth hynny mi fyddwn yn ynfyttach na'r rhai a giliasant eisoes at y gelyn: gan iddynt hwy ei wneuthur er achubiaeth iddynt eu hunain; a minneu a'i gwnawn i'm hunan-ddinystriad. Pa fodd bynnag, mi ddymunwn o'm calon i'r Rhufeiniaid brofi yn fradychus yn yr achos hwn. Canys, wedi cynnyg o honynt eu deheulaw fel sicrwydd o ddiogelwch, os lleddir fi ganddynt, byddaf farw yn gysurus; gan ddwyn ymaith gyd â mi brawf o'u hanffyddlondeb, er mwy diddanwch nag oddiwrth fuddugoliaeth ei hun."

Y rhesymmau hyn, a llawer yn rhagor, a ddefnyddiwyd gan Josephus, i ragflaenu y dynion hyn rhag bod yn llofruddwyr iddynt eu hunain. Ond anobaith a gauasai eu clustiau,

* Pa le y mae'r gyfraith hon o eiddo Moses i'w chael, ni's medraf wybod.

megis eu bod er's hir amser wedi diofrydu eu hunain i farw: a chythruddo a wnaethant tu ag at Josephus. Hwy yn ganlynol a redasant arno a'u cleddyfau yn eu dwylaw: un o un cwrr, ac arall o gwrr arall; gan ei ddifenwi, ac ymddangos yn amlwg fel pe buasent, bob un o honynt, yn barod i'w daro ef. Ond efe a alwodd ar un o honynt wrth ei enw; a chan edrych fel cad-flaenor ar un arall; a chan gymmeryd y trydydd gerfydd ei ddeheulaw; a pheri i'r pedwerydd gywilyddio trwy ddeisyf arno ymattal; a chan ei fod yn yr amgylchiad hwn yn derfysglyd trwy amryw feddyliau poenus, (fel y gallai yn hawdd fod, oblegid y cyfyngder yr oedd y pryd hynny ynddo,) fe gadwodd ymaith oddiwrtho gleddyfau pawb o honynt: gan orfod gwneuthur â hwy yn gyffelyb ag anifeiliaid gwylltion a amgylchynir ar bob tu, y rhai yn wastad a dröant eu hunain yn erbyn y rhai a gyffyrddo yn ddiweddaf â hwynt. Ië, deheulaw rhai o honynt a ddi-nerthwyd gan y parch oedd ganddynt i'w penciwdawd yn ei gystuddiau presennol, a'r cleddyfau a syrthiasant i lawr o'u dwylaw: ac nid ychydig o honynt ydoedd y rhai, pan amcanent ei daro â'u cleddyfau, nid oeddynt yn gwbl ewyllysgar, neu'n alluog i'w wneuthur.

Pa fodd bynnag, yn y cyfyngder mawr hwn, yr oedd wedi ei ymddifadu o'i arferol synwyroldeb: ond gan ymddiried ei hunan i ragluniaeth Duw, fe osododd ei fywyd tan enbydrwydd yn y modd canlynol: "Gan," eb efe, "ymroi o honoch yn eich plith eich hunain i farw, deuwch ym mlaen, a gorchymmynwn ein cyd-farwolaethau i gael eu penderfynu trwy goelbren. Y neb y syrthio'r coelbren arno gyntaf, lladder ef gan yr hwn a fyddo ganddo'r ail goelbren; ac felly y gwna damwain iddo fyned trwom i gyd. Ac ni leddir neb o honom trwy ein dwylaw ein hunain. Canys peth annhêg a fyddai, wedi difetha'r lleill, i ryw un edifarhau, a'i achub ei hun." Y cynnygiad hwn a ymddangosodd iddynt yn dra chyfiawn: ac wedi iddo eu perswadio hwynt i benderfynu y matter hwn trwy goelbrennau, fe bennododd un o'r coelbrennau i gael ei dynnu trosto ei hun hefyd. Yr hwn y daeth y coelbren gyntaf i'w ran a ddinoethodd ei wddf i'r neb y disgynodd arno yn nesaf; gan feddwl y byddai'r cad-lywydd farw yn eu mysg yn ddioed. Canys hwy a farnasant farwolaeth, os byddai Josephus farw gyd â hwynt, yn hyfrydach na bywyd. Etto efe, gyd ag un arall, a adawyd hyd yn ddiweddaf: pa un a allwn ddywedyd ddigwydd hynny o ddamwain, neu ynte trwy ragluniaeth Duw. Ac fel yr oedd yn dymuno yn fawr na fwrid ef gan y coelbren; neu os gadawid ef hyd yn olaf, na throchai ei ddeheulaw yngwaed ei gyd-wladwr, fe'i perswadiodd i ymddiried ei ffyddlondeb iddo ef, ac i fyw fel ef ei hun.

Fel hyn y diangodd Josephus yn y rhyfel â'r Rhufeiniaid, ac yn ei ryfel ei hun â'i gyfeillion, ac a arweiniwyd gan Nicanor at Vespasian. Ond yn awr yr holl Rufeiniaid a redasant ynghyd i'w weled ef. Ac fel yr oedd y lliaws yn gwasgu y naill ar y llall o amgylch eu cadflaenor, bu yno derfysg o amryw fath. Pan oedd rhai yn gorfoleddu am gymmeryd Josephus; rhai yn ei fygwth; ac eraill yn ymwthio i gael golwg nes arno: ond y rhai a safent o bell a waeddasant allan am roddi eu gelyn i farwolaeth: pan oedd y rhai agos atto yn galw i gof y gweithredoedd a wnaethai; a chyd-ymdeimlasant yn fawr ag ef ar gyfnewidiad ei sefyllfa. Ac nid oedd neb o'r blaenoriaid Rhufeinig, pa mor ddigofus bynnag a fuasent wrtho o'r blaen, nad oeddynt yn tristâu ar yr olwg arno ef. Uwchlaw pawb o'r lleill, gwrolder Titus, ac amynedd Josephus tan ei drallodion, a barodd i'r Rhufeinwyr dosturio tu ag atto, a chyd-ymdeimlo â Titus ar gyfrif ei oedran; pan alwodd i'w gof ei ymdrechiadau gwrol ychydig o amser yn ol; ond ei fod yn awr yn gaeth tan ddwylaw ei elynion: yr hyn a barodd iddynt ystyried effaith ffortun; ac mor gyflym yw'r tröad a wneir ar bethau mewn rhyfel: a'r modd nad yw un sefyllfa o ddynion yn ddiangol neu sicr. Am ba reswm y parodd i lawer ychwaneg fod o'r un dymmer dosturiol ag ef ei hun, ac a'u denodd i fod yn dyner tu ag at Josephus. Yr oedd efe hefyd o bwysau mawr gyd â'i dad yn ei berswadio i'w gadw ef yn fyw. Pa fodd bynnag, Vespasian a roddodd orchymmynion pendant am ei gadw â gocheliad mawr, fel pe buasai yn bwriadu yn mhen ychydig amser ei ddanfon at Nero.

Pan glybu Josephus ef yn rhoddi y gorchymmynion hyn, dywedodd fod ganddo ryw beth

yn ei feddwl ag a chwennychai ddywedyd wrtho ef o'r neilldu. Wedi gorchymmyn gan hynny i bawb gilio ymaith, oddigerth ei fab Titus, a dau o'u cyfeillion; efe a ddywedodd, "Tydi, O Vespasian, ni feddyliaist ychwaneg na chymmeryd Josephus ei hun yn gaethwas. Ond yr wyf fi yn dyfod attat fel cennad o bethau mwy. Canys pe na's danfonasid fi gan Dduw attat ti, gwyddwn pa beth oedd * cyfraith yr Iuddewon yn yr amgylchiad hwn; a'r modd y mae'n gweddu i flaenoriaid byddinoedd farw. A ydwyt ar fedr fy nanfon at Nero? I ba ddiben? A ydyw dilynwyr Nero, hyd oni ddelont attat ti, yn awr yn fyw? Tydi, O Vespasian, wyt Cæsar, ac ymerawdwr; tydi, a'th fab hwn. Rhwym fi yn awr yn dynach, a chadw fi it' dy hun. Canys tydi, O Cæsar, nid ydwyt arglwydd arnaf fi yn unig, ond ar dir a môr, a holl ddynol ryw. Ac yn sicr yr wyf fi yn haeddu cadwraeth fwy cyfyng nac yr wyf yn awr ynddi, mewn trefn i'm cospi, os dywedaf ddim yn fyrbwyll am Dduw." Pan adroddodd hyn, ni chredwyd ef yn uniongyrch gan Vespasian; ond fe ddychymmygodd i Josephus lefaru y modd hwn trwy gyfrwystra, i'r diben i'w achub ei hun. Ond yn mhen ychydig amser fe'i hargyhoeddwyd, ac a gredodd fod yr hyn a ddywedodd yn wir: gan i Dduw ei hun ddyrchafu ei ddisgwyliad, yn y fath fodd ag i feddwl cael meddiant o'r ymerodraeth; a thrwy arwyddion eraill a oedd yn dangos am ei ddyrchafiad. Fe gafodd hefyd fod Josephus yn traethu gwirionedd ar achosion eraill. Canys un o'r cyfeillion hynny ag oedd yn bresennol yn y cyngor dirgel uchod, a ddywedodd wrth Josephus, "Ni fedraf lai na rhyfeddu pa fodd na allasit ragfynegi i bobl Jotapata; ac na fedrit ragweled y caethiwed hwn a ddigwyddodd it' dy hun." Josephus a attebodd, "Myfi a ragddywedais i bobl Jotapata, y cymmerid hwy ar y seithfed dydd a deugain; ac y delid fi yn fyw gan y Rhufeiniaid." Yn awr pan ymofynodd Vespasian o'r neilldu â'r caethion ynghylch y rhagddywediadau hyn, fe gafodd ei fod yn wirionedd: ac yna fe ddechreuodd roddi crediniaeth i'r rhai am dano ei hun. Etto ni osododd efe Josephus yn rhydd o'i rwymau: ond fe gyfranodd iddo bar o ddillad, a rhoddion gwerthfawr eraill. Caniattaodd iddo hefyd gael triniaeth a bywoliaeth dra chysurus, a pharhaodd i wneuthur felly: a Titus o hyd yn cyssylltu ei annogiad â'r anrhydedd a wnaed iddo.

## PENNOD IX.

*Am ddarostyngiad Joppa a Thiberias.*

YN awr Vespasian a ddychwelodd i Ptolemais ar y pedwerydd dydd o'r mis Panemus neu Tamuz; ac oddi yno y daeth i Cæsarea, yr hon sydd yn gorwedd ar lan y môr. Dinas fawr berthynol i Judea ydoedd hon, ac yn cael ei phreswylio yn amlaf gan y Groegiaid. Y dinasyddion yma a dderbyniasant y fyddin Rufeinig, a'i phenciwdawd, gyd â phob math o floddest a llawenydd: a hynny mewn rhan oddi ar yr ewyllys da oedd ganddynt at y Rhufeiniaid; ond yn bennaf ar gyfrif y casineb a ddygent at y rhai a orchfygasid ganddynt. Ar ba achos hwy a ddaethant tan wneuthur achwynion yn erbyn Josephus yn dyrfaoedd; gan ddymuned am ei roddi ef i farwolaeth. Ond Vespasian a adawodd i'r deisyfiad hwn fyned heibio ymherthynas iddo, megis yn cael ei wneuthur gan liaws o bobl anneallus, gyd â distawrwydd hollol. Dwy o'r llengau hefyd a osododd yn Cæsarea, fel y gwnelent eu gauaf-drigfan yno, trwy ganfod y ddinas yn dra chymmwys i'r fath achos. Ond fe osododd y ddegfed a'r bummed lleng yn Scythopolis, fel na feichiai Cæsarea â'r holl fyddin. Y lle hwn ydoedd dymherus hyd yn oed yn y gauaf; ac yr oedd yn annioddefol frwd yn amser hâf, o herwydd fod ei sefyllfa mewn gwastadedd, ac yn agos at for Galilea.

Yn y cyfamser yr oedd wedi ymgasglu yngbyd, yn gystal y rhai gwrthryfelgar a ddaethant allan o blith eu gelynion, a'r rhai a ddiangasent o'r dinasoedd dymchweledig y rhai oll oeddynt yn llawer o nifer, a hwy a aethant ymaith i Joppa, yr hon a adawsid yn anghyfannedd gan Cestius, fel y byddai iddynt hwy yn lle o noddfa. Ac oblegid fod yr ardal gyssylltedig wedi ei hanrheithio yn y rhyfel, ac na's gallai eu

* Ni fedraf wybod pa le i gael cyfraith o eiddo Moses a grybwyllir yma gan Josephus, ac ar ol hynny gan Eleazar, VII. 8. a'i arwyddo yn dra agos gan Josephus, Ll. 1. 13. trwy gymmeradwyo Phasaelus am wneuthur hynny: fy meddwl yw, fod y cad-flaenoriaid Iuddewig, yngbyd â'r bobl, yn rhwymedig i ladd eu hunain, yn hytrach na myned i gaethiwed tan genhedloedd. Yr wyf yn ammeu na fuasai hyn yn ddim gwell na hunan-leiddiad. Ac yr wyf yn ei gymmeryd yn hytrach fel rhyw ofer-athrawiaeth neu ddeongliad o eiddo'r Phariseaid, yr Esseniaid, neu'r Herodianiaid, nag iawn gasgliad oddiwrth un gyfraith Dduw a draddodwyd gan Moses.

cynnal hwynt; penderfynasant i fyned ymaith i'r môr. Hwy hefyd a wnaethant amryw long-au lledradaidd, ac a droesant yn fôr-ladron ar y moroedd cyfagos i Syria, Phœnicia, a'r Aipht: a gwnaethant y moroedd hyn yn fordwyol i bob math o ddynion. Yn awr mor gynted ag y gwybu Vespasian am eu cyd-fwriad, fe ddanfonodd wŷr traed a gwŷr meirch i Joppa; y rhai a ddaethant i mewn i'r ddinas, gan ei bod heb warcheidwaid, yn y nos. Pa fodd bynnag y rhai a drigent ynddi a ddeallasant y goddiweddid hwynt, ac a oeddynt tan ofnau. Etto ni ymdrechasant i gadw y Rhufeiniaid allan, ond hwy a ffoesent i'w llongau, gan aros ar y môr o hyd nos allan o gyrraedd eu saethau.

Yn awr nid yw Joppa o naturiaeth yn borthladd, canys y mae yn diweddu â glàn garw neu garregog, a'r rhan arall o hono yn uniawn; ond y ddau ben ydynt yn gogwyddo y naill at y llall, lle y mae goriwared dwfn, a chlogwyni mawrion yn wynebu at y môr; a lle mae'r cadwynau â'r rhai y rhwymid Adromeda wedi gadael eu hol, yr hyn a dystia hynafiaeth y chwedl hwnnw. Ond y gogledd-wynt a wrthwyneba ac a gura ar lan y mor, fel y teifl y tonnau yn erchyll yn erbyn y creigiau sydd yn eu derbyn, ac yn peri i'r hafn fod yn fwy peryglus na'r wlad a adawsant. Yn awr fel yr oedd y bobl yma o Joppa yn nofio o amgylch yn y mor hwn, syrthiodd yn y bore wynt tymhestlog arnynt. Fe'i gelwir gan y rhai a fordwyant yno, y du-ogleddwynt; ac yno fe gurodd eu llongau y naill yn erbyn y llall; a chwythodd rai o honynt yn erbyn y creigydd; ac a yrrodd lawer o honynt trwy ei rym, tra'r oeddynt yn ymdrechu i'w erbyn, i'r cefnfor; canys y lan ydoedd mor arw, ac a chynnifer o elynion arni, fel yr oeddynt yn arswydo dyfod i dir. Ie'r tonnau a godasant mor uchel fel ag y boddwyd hwynt. Ac nid oedd un lle ag a allent ffoi iddo nac un ffordd i achub eu hunain: pan chwythid hwynt allan o'r mor, gan nerth y gwynt, er ymdrechu i aros yno; ac allan o'r ddinas trwy rym arfau y Rhufeiniaid. A llawer o wylofain ydoedd yn eu mysg pan gurodd y llongau y naill yn erbyn y llall; a sŵn dychrynllyd a wnaethant pan dorrent yn chwilfryw. A rhai o'r lliaws ag oedd ynddynt a orchuddiwyd gan y tonnau, ac felly a ddifethwyd; a llawer a beryglwyd trwy amlder y llong-dorriad. Ond rhai a dybiasant fod marwolaeth trwy eu cleddyfau eu hunain yn ysgafnach na marw gan y mor; ac felly lladdasant eu hunain cyn eu boddi, er i'r rhan fwyaf o honynt gael eu dwyn ymaith gan rym y tonnau, a'u dryllio yn erbyn y rhannau gerwinaf o'r creigiau: fel yr oedd y mor yn ymddangos tros hir o ffordd, yn waedlyd; a'r parthau mordwyawl yn llawn o gyrph meirwon. Canys y Rhufeiniaid a ddeuent ar warthaf y rhai a ddygid i'r lan, ac a'u lladdent hwynt. A nifer y cyrph a daflwyd allan o'r mor oeddynt bedair mil a dau cant. Y Rhufeiniaid hefyd a gymmerasant y ddinas yn ddi-wrthwynebiad, ac a'i llwyr ddifrodasant hi.

Fel hyn y cymmerwyd Joppa ddwywaith gan y Rhufeiniaid mewn ychydig amser. Ond Vespasian, mewn trefn i ragflaenu y mor-ladron hyn rhag dyfod yno drachefn, a adeiladodd wersyllfa, lle y buasai tŵr Joppa; ac a adawodd gorph o wŷr meirch ynddo, gyd ag ychydig o wŷr traed; fel y byddai i'r rhai ofal hyn aros yno, i warchawd y gwersyll; ac y byddai i'r gwŷr meirch ysglyfaethu y wlad o amgylch, a difetha y pentrefi cymmydogawl, a'r dinasoedd lleiaf. Felly y lluoedd hyn a oresgynasant y wlad, megis y gorchymynwyd iddynt; ac yn feunyddiol a dorasant yn ddrylliau, ac a ddifrodasant yr holl ardaloedd.

Yn awr, wedi i ddinystr Jotapata gael ei wneud yn hyspys yn Jerusalem, llawer ar y cyntaf a'i hanghredasant, o herwydd helaethrwydd yr adfyd a'r blinderau; ac am nad oedd ganddynt un llygad-dyst i sicrhau'r gwirionedd o'r hyn a adroddwyd yn ei chylch. Canys nid oedd un o'r trigolion wedi ei achub i fod yn drosglwyddwr o'r newyddion hynny iddynt. Ond gair a daenwyd o amgylch, wrth yr antur, fod y ddinas wedi ei chymmeryd, fel y mae'r fath son yn arferol o daenu newyddion drwg. Pa fodd bynnag y gwirionedd o hono a wybuwyd yn raddol, oddiwrth y mannau cyfagos i Jotapata, ac a ymddangosodd i bawb ei fod yn rhy wir. Etto'r oedd gau-chwedlau yn cael eu chwanegu â gwirionedd y peth a wnaethpwyd. Canys fe ddywedwyd fod Josephus wedi ei ladd ar ddadymchweliad y ddinas; yr hwn ddarn o newyddion a lanwodd holl Jerusalem â thristwch. Ym mhob tŷ hefyd, ac ym mhlith y rhai

oll ag oedd â pherthynas iddynt â'r rhai a laddwyd, yr ydoedd galar o'u herwydd. Ond y galar am y penllywydd ydoedd yn un cyhoeddus. A rhai a alarasant am y cyfryw a fuasent yn byw gyd â hwynt; eraill am eu perthynasau; rhai am eu cyfeillion, eraill am eu brodyr; ond pawb oll a alarodd am Josephus: yn gymmaint ag na pheidiodd yr wylofain yn y ddinas hyd y degfed * dydd ar hugain. A llawer o † alarwyr cyflogawl, gyd â'u pibellau, y rhai oeddynt i ddechrau y gŵyn-gerdd alaethus iddynt.

Ond fel y daeth y gwir allan mewn amser, ymddangosodd pa fodd yr oedd materion Jotapata yn sefyll. Etto fe gafwyd nad oedd marwolaeth Josephus ond ffugiol. A phan ddyallasant ei fod yn fyw, ac ym mysg y Rhufeiniaid; a bod eu penaethiaid yn ymddwyn tu ag atto mewn modd amgen nag at gaethion; yr oeddynt yn awr yn ymddangos mor ddigllon wrtho ag a ddangosasent o gariad iddo o'r blaen, pan dybiasant ei fod wedi marw. Ammharchwyd ef hefyd gan rai fel un heb galondid, a chan eraill fel enciliwr. A'r ddinas oedd lawn o ddigofaint tu ag atto, ac o waradwyddiadau a fwrid arno. Y cynddaredd hwn hefyd a chwanegwyd yn fwy gan eu gofidiau, ac a ennynodd trwy eu haflwyddiant. A'r hyn sydd arferol o fod yn ocheliad i ddynion da, sef trallodion, a drodd yn annogaeth iddynt hwy i anturio i bellach peryglon: a diwedd un trueni a ddaeth o hyd yn ddechrau un arall. Hwy gan hynny a ymroesant i orddiwes y Rhufeiniaid yn fwy tanbaid; megis yn amcanu dial arno ef, trwy eu hymddial ar y Rhufeiniaid. A dyma gyflwr Jerusalem gogyfer â'r trallodion oedd yn awr yn dyfod arni.

Ond Vespasian, mewn trefn i weled teyrnas Agrippa, wedi i'r brenin ei hun ei annog i hynny, (mewn rhan i'r diben i roesawi'r penciwdawd a'i fyddin yn y modd mwyaf godidog ar a fedrai, ac mewn rhan fel y byddai, trwy'r moddion o honynt hwy, i'r fath bethau gael eu diwygio ag oedd yn gamsyniol yn ei lywodraeth;) efe a symmudodd o'r Cæsarea honno oedd ar lan y mor; ac a aeth i'r ddinas a elwid ‡ Cæsarea Philippi: ac yno fe orphwysodd ei fyddin tros ugain niwrnod, ac a roesawyd ei hun gan y brenin Agrippa. Lle y darfu iddo hefyd ddychwelyd diolchgarwch cyhoeddus i Dduw, am y llwyddiant da a gawsai yn yr hyn a gymmerasai arno. Ond cyn gynted ag y clybu fod Tiberias yn tueddu i wrthryfel, a bod Tarichææ wedi cyfodi terfysg; pob un o ba ddinasoedd oeddynt ran o deyrnas Agrippa; fe ddeallodd ynddo ef ei hun fod yr Iuddewon ym mhob lle wedi gŵyrdroi oddiwrth eu hufudd-dod i'w llywodraethwyr; fe'i barnodd yn bryd gwneuthur ymgyrch yn erbyn y dinasoedd hyn, a hynny er mwyn Agrippa; ac i ddwyn ei ddinasoedd i reswm. Felly fe ddanfonodd ymaith ei fab Titus i'r Cesarea arall; fel yr arweiniai'r fyddin oedd yn gorwedd yno i Scythopolis; yr hon yw'r ddinas fwyaf yn Decapolis, ac ynghymmydogaeth Tiberias; i ba le y daeth ei hun, mewn disgwyliad am ei fab. Yna'r aeth efe a thair o lengau, ac a wersyllodd ddeg ar hugain o 'stadau oddiwrth Tiberias, mewn cyfle hawdd i'r gwrthryfelwyr eu canfod. Gelwid y fan Sennabris. Danfonodd hefyd Falerian, y dengwriad, gyd â deg a deugain o wŷr meirch, i lefaru yn heddychol wrth y rhai oedd yn y ddinas, ac i'w cynghori i roi sicrwydd iddo o'u ffyddlondeb. Canys fe glywsai fod y bobl yn dymuno heddwch; ond eu bod yn cael eu rhwymo gan rai o'r ymbleidwyr, i uno â hwynt, ac felly yn gorfod ymladd trostynt. Pan gyrchodd Falerian i fynu i'r lle, ac yn agos i'r mur, fe ddisgynodd oddiar ei farch, gan beri i'r rhai oedd gyd ag ef i wneud yr un peth; fel na feddylient eu bod yn dyfod i ymladd â hwynt. Ond cyn galla o honynt ddyfod i ymddiddan â hwynt, y gwŷr pennaf ym mhlith y terfysgwyr a ruthrasant arnynt yn arfogion. Eu harweinydd ydoedd un Jesus, mab Saphat pennaeth llu o yspeilwyr. Yn awr Falerian, heb dybied ei fod yn ddiberygl i ymladd yn wrthwyneb i orchymmyn y penciwdawd, er pe byddai yn sicr o fuddugoliaeth; a chan wybod ei fod yn orchwyl peryglus i ychydig ymladd â llawer; i rai ag oedd heb wneuthur parodrwydd ymladd â rhai oedd barod: a chan fod ar gyfrifon eraill yn rhyfeddu wrth yr ymosodiad annisgwyliadwy

* Gwel Deut. xxxiv. 8.

† Y galarwyr cyhoeddus yma, a gyflogwyd ar ddychymygol farwolaeth Josephus, a gwir-farwolaethau amryw eraill sydd yn egluro rhai mannau yn y Bibl, ag sy'n golygu yr un ddefod neu arferiad; fel Math, xi. 17. megis ag y gall y darllenydd ymgynghori â nodau Grotius ar y lle.

‡ Am y Cæsarea Philippi hon, (a grybwyllir ddwywaith yn ein Testament Newydd, Math. xvi. 13. Marc viii. 27.) yr ariau perthynol iddi sydd etto i'w gweled, fel yr hyspysir i ni gan Spanheim.

gan yr Iuddewon, fe ffodd ymaith ar draed, megis y gwnaeth y pump eraill yr un modd, gan adael eu meirch o'u hol. Pa ryw feirch a arweinwyd gan Jesus i'r ddinas, gan lawenychu fel pe buasent wedi eu cymmeryd mewn brwydr, ac nid trwy fradwriaeth.

Yn awr yr henuriaid, a'r cyfryw ag oedd a'r awdurdod bennaf yn eu mysg, yn ofni pa beth a fyddai canlyniad y mater hwn, a ffoesant i wersyll y Rhufeiniaid. Yna y cymmerasant eu brenin gyd â hwynt, ac a syrthiasant i lawr o flaen Vespasian, i ymbil am ei ffafr: gan attolygu na edrychai yn ddialgar arnynt, na chyfrif gwallgofrwydd ychydig nifer o bobl, i'r holl ddinas: i arbed pobl a fuasai bob amser yn ufudd ac yn ostyngedig i'r Rhufeiniaid: ond bod i awdwyr y terfysg hwn gael eu dwyn i gyfiawn gospedigaeth; y rhai hyd yn bresennol a'u gwyliasent yn ddichellgar, er eu bod hwy yn awyddus i roddi iddynt y sicrwydd o'u deheulaw, etto ni allent hyd yn bresenol ei gwblhau. Yr ymbiliau hyn a foddlonodd y penciwdawd i'w caniattâu: er ei fod yn dra digllon wrth yr holl ddinas ar gyfrif y meirch a ddygasid ymaith, oblegid gweled o hono Agrippa mewn blinder mawr o'i herwydd. Felly wedi i Vespasian ac Agrippa wneud derbyniad o'u deheulaw, mewn ffordd o sicrwydd, meddyliodd Jesus a'i blaid na allent fod yn ddiangol wrth aros yn Tiberias, felly hwy a redasant ymaith i Taricheæ. Y dydd nesaf Vespasian a ddanfonodd Trajan o'i flaen i dŵr Tiberias, i wneuthur profiad o'r lliaws, a oeddynt oll yn dueddol i heddwch. A chyn gynted ag y gwybu fod y bobl o'r un feddwl â'r ymbiliwyr, fe gymmerodd ei fyddin ac a aeth i mewn i'r ddinas. Ar yr hyn y dinasyddion a agorasant iddo y pyrth ac a'i cyfarfuant â chrechwenau o lawenydd, gan ei alw yn achubwr a chymmwynaswr iddynt. Ond fel yr oedd y fyddin amser hir yn myned i mewn trwy 'r pyrth, oblegid eu culni, Vespasian a barodd i'r mur deheuol gael ei ddymchwel i lawr, ac i wneuthur tramwyfa helaeth iddynt i mewn. Pa fodd bynnag fe orchymynodd i'w wŷr ymgadw rhag trais ac anghyfiawnder yn y ddinas, mewn trefn i foddhau'r brenin. Ac ar y cyfrif yma fe arbedodd y rhan arall o'r mur, pan gymmerodd y brenin arno trostynt y byddai iddynt barhau yn ffyddlon i'r Rhufeiniaid tros yr amser i ddyfod. Ac fel hyn yr adferodd y ddinas hon i gyflwr o lonyddwch, wedi ei blino yn fawr gan y terfysgwyr.

## PENNOD X.

*Darostyngiad Taricheæ. Desgrifiad o afon yr Iorddonen, ac o wlad Gennesareth.*

YN awr Vespasian a sefydlodd ei wersyllfa rhwng y ddinas hon a Taricheæ: ond fe amddiffynodd ei wersyll yn gadarnach, wrth feddwl y gorfyddai iddo aros yn hir yno trwy feithder y rhyfel. Canys yr holl wrthryfelwyr a ymgasglasent yn Taricheæ; gan ymorphwys ar gadernid y ddinas, ac ar y llyn oedd yn gorwedd yn agos atti; yr hwn a elwid gan bobl y wlad, llyn Gennesareth. Y ddinas ei hun sydd â'i sefyllfa yn debyg i Tiberias, wrth droed mynydd: ac ar yr ochrau hynny na chyrhaeddid gan y môr fe'u hamddiffynwyd gan Josephus, er nad mor gadarn a Thiberius. Canys mur Tiberias a adeiladwyd cyn dechrau'r gwrthryfel gan yr Iuddewon, pan oedd ganddo amldra mawr o arian, ac awdurdod helaeth. Ond Taricheæ a gyfranogodd yn unig o weddill yr helaethrwydd hwnnw. Etto'r oedd ganddynt nifer mawr o longau wedi eu cael yn barod ar y llyn; fel os curid hwy allan o'r tir, y gallent gilio iddynt hwy: ac yr oeddynt wedi eu gorphen yn y fath fodd ag yr attebent i ymladdfa hefyd ar y mor. Ond fel yr oedd y Rhufeiniaid yn gwneuthur mur o amgylch eu gwersyll, Jesus a'i blaid ni ddychrynasant wrth eu lliosowgrwydd, nac o herwydd eu trefn reolaidd, ond a wnaethant ruthr arnynt: ac ar yr ymosodiad cyntaf, adeiladwyr y mur a orfu iddynt wasgaru, a'r rhai hyn a dynnodd yr ychydig a adeiladwyd i lawr yn ddrylliau. Ond cyn gynted ag y gwelsant y gwŷr arfog yn ymgrynhoi ynghyd, a chyn digwydd iddynt ddim niweid, hwy a giliasant at eu gwŷr eu hunain. Ond yna y Rhufeiniaid a'u herlidiasant, ac a'u gyrrasant i'w llongau: ym mha rai y gwthiasant i'r mor cyn belled ag y rhoddai gyfleusdra iddynt i gyrraedd y Rhufeiniaid â'r hyn a allent fwrw attynt: ac yna hwy a fwriasant angorau, ac a ddygasant eu llongau ynghyd, megis mewn trefn i ymladd; ac ar ol hyn hwy a ymladdasant â'r gelyn o'r môr, y rhai oeddynt eu hunain ar y tir. Ond Vespasian wedi clywed fod lliaws mawr o honynt

wedi crynhoi ynghyd yn y gwastadedd o flaen y ddinas, efe ar hynny a ddanfonodd ei fab, gyd â chwe chant o wŷr meirch dewisol i'w gwasgaru hwynt.

Ond pan welodd Titus fod y gelyn yn dra lliosog, danfonodd at ei dad i'w wneud yn hysbys, fod arno achos am ychwaneg o luoedd. Ond fel yr oedd yn canfod llawer o'r gwŷr meirch yn awyddus i ymladd cyn y gallai ddim cynnorthwyadon ddyfod attynt; a bod etto rai o honynt yn ddirgel yn brawychu wrth liosogrwydd yr Iuddewon; efe a safodd ar le y gellid ei glywed o hono, ac a ddywedodd wrthynt, "Fy Rhufeiniaid gwrolwych! mae'n iawn i mi eich dodi mewn cof o ba genedl yr ydych yn nechreuad fy araith; fel na byddoch heb wybod pwy ydych, a phwy ydynt hwy yn erbyn pa rai yr y'm yn myned i ymladd. Canys am danom ni, Rhufeiniaid, nid oes rhan o'r ddaear gyfanneddol a allodd ddiangc o'n dwylaw hyd yn hyn. Ond am yr Iuddewon, fel y gallaf grybwyll hefyd am danynt hwy, er cael o honynt eu curo eisoes, etto ni roddant yr achos i fynu. A pheth trist a fyddai i ni dyfu yn flinedig tan ein llwyddiant, tra maent hwy yn ymgynal i fynu tan eu haflwyddiant. Am y parodrwydd a'r astudrwydd a ddangoswch chwi yn gyhoeddus, yr wyf yn ei ganfod, ac yn llawenychu o'i herwydd. Etto'r wyf yn ofni rhag i amlder y gelyn ddwyn i mewn ddirgel betrusder a braw ar rai o honoch. Bydded i'r cyfryw ystyried drachefn pwy y'm ni y rhai ydym i ymladd; a phwy ydynt hwythau â pha rai yr ymladdwn. Yn awr yr Iuddewon hyn, er eu bob yn dra hyfion, ac yn ddirmygwyr mawr o farwolaeth, nid y'nt ond corph annhrefnus o ddynion, ac anghyfarwydd mewn rhyfel; ac a ellir yn hytrach eu galw yn werin-dorf nag yn fyddin: pan nad yw angenrhaid i mi ddywedyd dim am ein cyfarwyddyd a'u rheoledigaeth ein hunain. Canys dyma y rheswm ar gyfrif pa un yr ydym ni Rufeiniaid yn unig, yn cael ein harferyd i ryfel yn amser heddwch, fel nad ystyriom nifer am nifer, pan delom i ymladd â'n gelynion. Canys pa fantais a dderbyniom ni trwy'r fath ymarferiad gwastadol o ryfela, os rhaid ein bod fyth yn gydradd o rifedi â'r rhai na chawsant eu harfer i ryfel? Ystyriwch ymhellach eich bod i ymdrechu â dynion ag sydd mewn effaith yn anarfog, tra'r ydych chwi mewn cyflawn arfogaeth; gyd â gwŷr traed, pan ydych chwi yn llu o wŷr meirch; â rhai nad oes flaenor iddynt, pan y mae un gennych chwi. Ac fel y mae eich manteision, mewn effaith, yn eich gwneud yn llawer dyblyg mwy na'r hyn ydych; felly y mae eu han-fanteision yn mawr ddiddymu eu rhifedi hwynt.

"Yn awr nid lliosowgrwydd dynion, er mai milwyr fyddant, sydd yn peri llwyddiant rhyfel: ond eu gwrolder sydd yn ei wneuthur, er na byddo eu nifer ond bychan: canys ychydig sydd hawdd eu trefnu i'r frwydr, ac a allant yn haws gynnorthwyo eu gilydd: tra mae gormodedd lliaws mewn byddin yn cael eu niweidio gan eu gilydd yn fwy na chan eu gelynion. Hyfdra a byrbwylldra, effeithiau gwallgofrwydd, a arweiniant yr Iuddewon. Y nwydau hyn yn wir a wnant ddangosiad mawr pan lwyddont; ond a ddiffoddir yn llwyr ar yr aflwyddiant lleiaf. Ond nyni a ddygir ym mlaen trwy gefnogrwydd, ufudd-dod, a gwrolder; y rhai a ddangosant eu hunain yn wir yn helaethrwydd ein llwyddiant; ac ni'n gedy fyth yn ein haflwyddiant. Nag ê, yn wir eich gwaith chwi yn ymladd sydd o uwch dibenion na'r Iuddewon; canys er eu bod hwy yn rhedeg yr antur o fyned i ryfel tros ddychymmygol ryddid, a a thros eu gwlad: etto beth a all fod yn oruwchddiben gennym ni na chlodforusrwydd? ac fel na aller fyth ddywedyd, yn ol meddiannu o honom arglwyddiaeth y ddaear gyfanneddol, ddarfod i'r Iuddewon allu ein gwrthsefyll ni. Rheidiol yw hefyd adfyfyrio hyn, nad oes achos i ni ofni dioddef un anffawd anesgorol yn yr achos presennol: canys y rhai sydd barod i'n cynnorthwyo ydynt lawer, a'r rhai'ny wrth law hefyd. Etto y mae yn ein gallu afaelu yn y fuddugoliaeth hon ein hunain: a'm meddwl ydyw y dylem ragflaenu dyfodiad y rhai y mae fy nhad yn eu danfon i'n cynnorthwyo; fel y byddo ein llywyddiant yn perthynu yn bendant i ni ein hunain, ac er mwy o glod i ni. Ac nis gallaf amgen na golygu hon yn gyfleusdra i ni, ym mha un y gosodir fy nhad a mi fy hun, yn gystal â phob un o honoch chwithau ar brofiad: pa un a ydyw efe yn deilwng o glodforusrwydd ei weithredoedd gynt; pa un a ydwyf finneu mewn gwirionedd yn fab iddo; a

pha un a'i chwi yn wirioneddol ydych filwyr i mi. Canys peth arferol i'm tad yw buddugoliaethu. Ac am danaf fy hun ni allwn oddef y meddyliau o ddychwelyd atto ef pe unwaith i'm cymmerid gan y gelyn. A pha fodd y gellwch chwi ochelyd eich cywilyddio, os na ddangoswch gefnogrwydd cydraddol â'ch blaenor, pan elo efe o'ch blaen i wynebu'r perygl? Canys chwi a wyddoch yn dda ddigon, y bydd i mi fyned i'r perygl yn gyntaf, a gwneud yr ymosodiad blaenaf ar y gelyn. Na enciliwch chwi gan hynny oddi wrthyf; ond perswadiwch eich hun y bydd Duw yn gynnorthwy i'm blaenymosodiad. Gwybyddwch hefyd hyn cyn y dechreuom, y bydd i ni yn awr well llwyddiant, nag a gawsem, pe buasem i ymladd o hirbell."

Fel ag yr oedd Titus yn gwneud yr araith hon, rhyw gynddaredd anarferol a syrthiodd ar y gwŷr. Ac fel yr oedd Trajan wedi dyfod yno eisoes cyn dechrau yr ymladdfa, gyd â phedwar cant o wŷr meirch, yr oeddynt yn anesmwyth o'i herwydd: oblegid y byddai i glod y fuddugoliaeth gael ei leihau trwy ei fod yn gyffredin rhwng cynnifer. Vespasian hefyd a ddanfonasai Antonius a Silo, gyd â dwy fil o saethyddion: ac a roesai orchymmyn iddynt i oresgyn y bryn neu fynydd ag ydoedd uwch ben y dref, a gyrru ymaith y rhai oedd ar y muriau. Pa ryw saethyddion a wnaethant fel y gorchymynasid iddynt, gan rwystro y rhai a geisient eu cynnorthwyo y ffordd honno. Ac yn awr Titus a wnaeth i'w farch ei hun gychwyn yn gyntaf i fyned o flaen y gelyn, megis ag y cychwynodd y lleill gyd â thrwst mawr ar ei ol ef, gan ymdaenu eu hunain ar y gwastadedd cyn lletted â'r gelyn oedd yn eu hwynebu hwynt: trwy ba foddion yr ymddangosasant yn fwy mewn rhifedi nag oeddynt. Yn awr yr Iuddewon, er rhyfeddu o honynt wrth wychder eu trefn a'u hymosodiad, a wrthsafasant eu hymgyrch tros ychydig amser: ond pan frathwyd hwynt â'u pawlau hirion, ac wedi gwasgu arnynt gan drwst mawr y gwŷr meirch, daethant i gael eu mathru tan eu traed. Llawer o honynt hefyd a laddwyd ar bob tu; yr hyn a wnaeth iddynt wasgaru eu hunain, a ffoi i'r ddinas mor gynted ag y gallai pob un. Felly Titus a bwysodd ar y rhai olaf, ac a'u lladdodd hwynt: ac o'r lleill rhai a syrthiodd arnynt fel yr oeddynt yn sefyll yn dyrrau; a rhai a ragflaenodd, ac a gyfarfu â hwynt yn y cegau, gan eu rhedeg trwodd â'r cleddyf. Llawer hefyd a neidiodd arnynt, fel y syrthient y naill ar y llall, gan eu sathru i lawr, a thori ymaith yr enciliad oedd ganddynt ar y mur, gan eu troi yn ol i'r gwastadedd; nes o'r diwedd iddynt wneuthur ffordd, gan eu lliosogrwydd, i fyned ymaith, ac a redasant i mewn i'r ddinas.

Ond yn awr fe syrthiodd allan ymryson ofnadwy yn eu mysg o fewn y ddinas. Canys y trigolion eu hunain oedd â meddianau yno, ac i'r rhai y perthynai'r ddinas, nid oeddynt a thuedd ganddynt i ymladd ar y dechreuad; ac yn awr yn llai felly wedi eu curo hwynt. Ond y dieithriaid, y rhai oeddynt dra lliosog, a fynnent yn fwy wneuthur iddynt ymladd ar y cyfrif hwnnw. Yn gymmaint a bod sŵn mawr a therfysg yn eu plith, megis eu bod mewn cydradd o ddigter o grwgnachrwydd yn erbyn eu gilydd. A phan glybu Titus y cythrwfl hwn, canys nid ydoedd bell oddi wrth y mur, fe lefodd allan, "Fy nghyd-filwyr, yn awr yw'r amser. A phaham yr ydym yn gwneuthur dim oed? pan y mae Duw yn rhoddi i fynu'r Iuddewon i'n dwylaw ni. Y rhai a ddiangodd oddi arnom ydynt mewn cynnwrf y naill yn erbyn y llall. Y mae'r ddinas gennym ni os gwnawn frys. Ond heblaw brys rhaid i ni fyned tan beth llafur, ac arferyd ychwaneg o gefnogrwydd. Canys ni chwblheir pethau mawrion heb berygl. Yn ganlynol y mae'n rhaid i ni, nid yn unig ragflaenu eu hymgyssylltiad drachefn, yr hyn a bar angenrheidrwydd iddynt yn fuan ymdrechu i'w wneuthur; ond rhaid i ni hefyd rwystro dyfodiad ein gwŷr ein hunain i'n cynnorthwyo: fel er lleied o nifer ydym y buddugoliaethom ar gymmaint lliaws, ag y gallom ein hunain yn unig gymmeryd y ddinas."

Cyn gynted ag y dywedodd Titus hyn fe neidiodd ar ei farch, ac a yrrodd yn gyflym i lawr at y llyn; o ba le yr aeth rhagddo i mewn i'r ddinas yn gyntaf o honynt oll; fel y gwnaeth y lleill yn fuan ar ei ol. Ar hyn y rhai a safent uwch law'r muriau a darawyd â dychryn wrth hyfdra'r anturiaeth. Ac ni feiddiai neb gynnyg ymladd ag ef, neu osod rhwystr o'i flaen. Felly hwy a adawsant warchawd y ddinas: a rhai o'r cyfryw ag oedd gyd â Jesus a ffoasant ymaith

i'r wlad; tra y rhedai eraill i lawr at y llyn, gan gyfarfod â'r gelyn yn ei wyneb. Rhai a laddwyd ar eu mynediad i'r llongau, ond eraill o honynt wrth ymdrechu dyfod o hyd i'r rhai a aethent ar fwrdd y llongau. Gwnaethpwyd lladdfeydd mawrion hefyd yn y ddinas, tra y darfu i'r dieithriaid hynny a'r na ffoisent eisoes ymaith wneuthur gwrthwynebiad. Ond y trigolion cartrefol a laddwyd yn ddiwrthwynebiad; pan oeddynt tan obaith y rhoddai Titus iddynt ei ddeheulaw er eu diogelwch; a chan fod yn gydwybodol na roesent hwy un cydsyniad i'r rhyfel, hwy a ochelasant ymladd, nes i Titus ladd awdwyr yr ymryson: ac yna rhoddodd attalfa i bellach laddfeydd, oddi ar dosturi at digolion y lle. Ond am y rhai a ffoesant at y llyn, wrth weled y ddinas yn cael ei chymmeryd, hwyliasant ymaith mor bell ag a allasant oddiwrth y gelyn.

Ar hyn Titus a ddanfonodd un o'i wŷr meirch at ei dad, i adrodd iddo y newyddion da o'r hyn a wnaethai. Wrth ba newyddion, fel yr oedd yn naturiol iddo, y llawenychodd yn fawr, yn gystal o herwydd cefnogrwydd, a gweithred glodfawr ei fab: canys tybiodd yn awr fod y rhan fwyaf o'r rhyfel wedi myned trosodd. Yna y daeth efe yno ei hun, ac a osododd wŷr i wylio'r ddinas; gan roddi gorchymmyn iddynt i ofalu na ddelai neb allan yn ddirgel o honi, ond i ladd y rhai a gynhygient ei wneuthur. Ac ar y dydd nesaf fe aeth i wared at y llyn; gan orchymmyn parottoi llestri, mewn trefn i erlid ar ol y rhai a ffoesent ymaith yn y llongau. Y llestri hynny yn ganlynol a barottowyd yn fuan, oblegid fod yno helaethrwydd o ddefnyddiau, a nifer cyfattebol o grefftwyr.

Yn awr y llyn Genesareth hwn a elwir felly oddi wrth y wlad gyssylltedig. Ei led sydd ddeugain o 'stadau, a'i hyd yn ddeugain a chant. Ei ddyfroedd sydd felus, ac yn dra hyfryd i yfed o honynt: y mae'n gliriach na dyfroedd trwchus rhai llynnoedd eraill: Y mae hefyd yn dymherus wrth ei gymmeryd i fynu, ac o natur dynerach na dwfr afonydd neu ffynhonnau; ac etto yn oerach nag a allai neb ei ddisgwyl yn y fath le ehang ag yw hwn. Yn awr pan gadwer y dwfr hwn allan tan yr awyr, y mae mor oered â'r eira, yr hyn y mae pobl y wlad arferol o'i wneuthur yn y nos amser hâf. Y mae amryw fath o bysgod ynddo, yn wahanol eu blas a'u drych i'r rhai a welir mewn mannau eraill. Fe'i gwahanir yn ddwy ran gan afon yr Iorddonen. Yn awr Panium a feddylir fod yn ffynhonnell yr Iorddonen; ond mewn gwirionedd y mae'n dyfod yno trwy fodd dirgel o le a elwir Phiala. Y lle hwn a orwedd wrth ffordd yr elych i fynu ar hyd-ddi i Trachonitis, ac sydd yn gant ac ugain o stadau o Cæsarea, heb fod neppell o'r ffordd, ar y llaw ddehau. Ac yn wir y mae ganddi ei henw Phiala (costrel neu phiol) yn dra chymmwys, oddi wrth grwndra ei hamgylchedd, megis ei bod yn grwn fel olwyn. Ei ddwfr sydd yn wastad yn parhau yn llawn hyd yr ymyl, heb na gostwng na rhedeg trosodd. Ac fel yr oedd y dechreuad hwn i'r Iorddonen gynt yn anhyspys, fe'i datguddiwyd felly pan oedd Philip yn detrarch Trachonitis. Canys efe a barodd i beiswyn gael ei fwrw i ddwfr Phiala, ac fe'i cafwyd yn Panium, lle'r oedd yr henafiaid yn meddwl fod ffynhonnell gyntaf yr afon; i ba le gan hynny y dygasid y peiswyn gan y dwfr. Am Panium ei hun, ei thegwch naturiol a chwanegasid gan frenhinol haelioni Agrippa, ac a addurnwyd ar ei draul ef. Yn awr ffrwd ymddangosiadol yr Iorddonen sy'n cyfodi o'r ceudwll hwn, ac sydd yn gwhaniaethu morfeudd a chyrs llyn Senaechonitis, ac wedi iddo redeg cant ac ugain ystad yn rhagor, y mae'n gyntaf yn myned heibio i'r ddinas Julias, ac yna trwy ganol llyn Gennesareth: yn ol hynny y mae'n rhedeg meithder o ffordd trwy ddiffeithwch; ac yna yn diweddu yn llyn neu fôr Asphaltites.

Y wlad hefyd ag sy'n gorwedd o amgylch y llyn rhagddywededig sydd ag iddi yr un enw, Gennesareth. Ei natur sydd ryfeddol yn gystal ag yn hardd. Ei thir mor ffrwythlon, fel y tŷf pob math o goed arno; a'i breswylwyr yn ganlynol a blannant rai o bob rhywiogaeth yno. Canys tymmerusrwydd yr awyr sydd o'r fath gymmysgedd ag y cytuna yn dda â'r gwahanol rywiogaethau o ffrwyth planhigion; yn enwedig cnau-ffrengig, pa rai sy'n gofyn yr awyr deneuaf, a flodeuant yno mewn amlder mawr. Ffigysbrennau hefyd, ac olewydd a dyfant yn agos attynt, y rhai a ofynnant awyr fwy tymherus. Gallai un alw y lle hwn yn uchel-gais naturiaeth: canys y mae'n gwneuthur i'r planhigion hynny ag sydd elynion i'w gilydd wrth natur i

gyttuno. Ymrysonfa ddedwyddol y tymmorau ydyw, fel pe byddai pob un o honynt yn cleimio rhan yn y wlad. Canys y mae nid yn unig yn meithrin pob rhyw ffrwythau'r cynhauaf, tu hwnt i ddisgwyliad dyn, ond yn eu cadw hefyd tros hir amser. Y mae'n diwallu dynion â'r prif-ffrwythau; â grawnwin ac â * ffigys yn wastadol, yn oed deg mis o'r flwyddyn: a'r gweddill fel y maent yn addfedu trwy'r holl flwyddyn. Canys heblaw tymmerusrwydd yr awyr; fe'i dwfrheir hefyd o ffynhonau tra ffrwythlawn. Pobl y wlad a'i galwant hi Capharnaum. Rhai a'i dychmmygant yn wythien o'r Nilus, o herwydd ei bod yn dwyn y pysgodyn Coracin ag sydd i'w gael yn agos i Alexandria. Hyd y wlad sydd yn cyrraedd gyd ag ochrau bryniog y llyn hwn, ag sy'n dwyn yr un enw, tros ddeg a'r hugain o stadau, a'i lêd yn ugain ystâd. A thyma natur y lle hwnnw.

Ond yn awr, pan gafwyd y llestri yn barod, Vespasian a ddododd ar fyrddau'r llongau gynnifer o'i luoedd ag a dybiodd yn ddigonol i orchfygu y rhai a ffoesent ar y llyn, ac a hwliasant ar eu hol. Yn awr y rhai a yrrasid i'r llyn ni allent fyned i dir, pa ryw le ydoedd oll tan ddwylaw'r gelynion, ag oedd mewn rhyfel i'w herbyn; ac ni allent ymladd yn gydradd ar y môr. Canys eu llongau ydoedd fychain, ac yn gymwys yn unig i fôr ysbail: yr oeddynt yn rhy weiniaid i ymladd â llestri Vespasian; a'r morwyr oedd ynddynt ydoedd ychydig o nifer, a'u bod yn ofni neshau at y Rhufeiniaid, y rhai a'u goresgynasant yn nifer mawr. Pa fodd bynnag, fel yr oeddynt yn mordwyo o amgylch y llestri, ac weithiau fel y deuent yn agos attynt, hwy a ergydiasant gerrig at y Rhufeiniaid pan oeddynt mewn pellder oddi wrthynt, neu pan ddeuent yn agos i ymladd â hwynt. Etto hwy a dderbyniasant y niweid fwyaf eu hunain, ym mhob un o'r amgylchiadau hyn. Am y cerrig a daflasant at y Rhufeiniaid, ni ddarfu iddynt yn unig ond swnio y naill ar ol y llall; canys ergydiasant hwy at rai oedd yn eu harfogaeth: pan gyrhaeddai piccellau y Rhufeiniaid yr Iuddewon hyd adref. A phan anturient nesâu at y Rhufeiniaid, hwy a ddioddefent trwy hynny, cyn y gwnaent niweid i'r lleill, a hwy a foddwyd ynghyd â'u llongau.

Am y rhai a ymdrechent i ddyfod i ymladdfa weithredol, y Rhufeiniaid a frathasant trwodd lawer o honynt â'u pawlau hirion. Weithiau y Rhufeiniaid a neidient i'w llongau â'u cleddyfau yn eu dwylaw, gan eu lladd hwynt. Ond pan gyfarfyddai rhai â llestri y Rhufeiniaid, hwy a ymaflent yn eu canol, ac a ddifetheut ar unwaith eu llongau, a hwy eu hunain wedi eu cymmeryd ynddynt. Ac am y rhai a foddent yn y môr, os cyfodent eu pennau uwchlaw'r dwfr, un ai lleddid hwy â'r piccellau a fwrid attynt, neu a ddelid gan y llestri. Ond os, yn y cyflwr anobeithiol yr oeddynt ynddo, yr anturient nofio at eu gelynion, y Rhufeiniaid a dorrent ymaith eu pennau, neu eu dwylaw. Ac yn wir hwy a ddifethwyd trwy amryw foddion yn mhob man; nes i'r gweddill wedi eu dodi i ffoi, orfod myned i dir, tra'r oedd y llestri yn eu hamgylchu hwynt ar y môr. Ond fel y cafodd amryw o honynt eu gwrthwynebu pan oeddynt yn ceisio myned i'r lan, hwy a leddid gan y piccellau ar y llyn. A'r Rhufeiniaid a neidient o'u llestri, ac a ddifethasant lawer ychwaneg ar y tir. Gallai un a edrychai ar y llyn y pryd hynny ei weled oll yn waedlyd, ac yn llawn o gyrph meirwon; canys ni ddiangodd un o honynt. Ac arogl trwn, gyd â golwg tra dychrynllyd y dydd canlynol oedd tros yr holl wlad. Canys am y glennydd yr oeddynt yn llawn o long-dorriadau, ac o gyrph meirw oll yn chwyddedig: ac fel yr oeddynt dan danbeidrwydd gwres yr haul, hwy a bydrasant, ac a lygrasant yr awyr. Yn gymmaint ag yr oedd y trueni nid yn unig yn wrthddrych o dosturi i'r Iuddewon, ond i'r rhai a'u casâodd hwynt, ac a fuasent yn awdwyr eu trueni. Dyma a fu canlyniad yr ymladdfa ar y llyn. Rhifedi y lladdedigion, gyd â'r rhai a laddesid yn y ddinas o'r blaen, ydoedd chwe mil a phum cant.

Ar ol i'r ymladdfa hon fyned trosodd, Vespasian a eisteddodd ar orsedd yn Taricheæ, mewn trefn i wahaniaethu rhwng dieithriaid a'r hên drigolion. Canys y dieithriaid hynny a

* Dichon fod yn werth ein sulw ar y lle hwn, fod yn agos i'r llyn Genesareth yma, rawnwin a ffigys yn hongian ar y prennau, tros ddeg o fisoedd y flwyddyn. Gellir sylwi hefyd, yn areithiau Cyril o Jerusalem â draddodwyd heb fod yn hir o flaen y pasg, nad oedd dail newyddion ar y ffigys-brennau, na syppiau grawnwin yn Judea. Felly pan y mae St. Marc yn dywedyd, xi. 13. ddarfod i'n Hiachawdwr, yn fuan ar ol yr unrhyw amser o'r flwyddyn, ddyfod a chael dail ar ffigysbren yn agos i Jerusalem, ond heb ddim ffigys arno, o herwydd fod amser addfedrwydd ffigys newyddion heb ddyfod etto, y mae'n dywedyd gwirionedd. Ac nid oeddynt gan hynny amgen na dail hên, a welodd ein Achubwr, a ffigysbren a ddisgwyliodd; y rhai, ie gyd â ni, a arosant yn gyffredin ar y prennau trwy'r holl auaf.

ymddangosent yn ddechreuwyr y rhyfel. Felly fe ystyriodd gyd â'r swyddogion eraill, pa un a ddylai achub yr hên breswylwŷr neu beidio? Ac wedi i'r swyddogion hynny ddadleu, y byddai eu gollyngdod hwy yn rhyddion er ei anfantais ei hun; o herwydd wedi eu gosod unwaith mewn rhyddid, ni orphwysent ddim; gan y byddent hwy yn bobl ymddifad o drigfannau pendant, ac a allent gymmell y rhai a ffoent attynt i ymladd yn erbyn y Rhufeiniaid; Vespasian a addefodd nad oeddynt haeddianol o'u hachub; ac os caniattaid iddynt fyned ymaith, y defnyddient hynny yn erbyn y rhai a roesai'r caniattâd hwnnw iddynt. Ond etto fe ystyriodd ynddo ei hun, * pa ddull y lleddid hwynt. Canys os lleddid hwynt yno, meddyliodd y byddai i bobl y wlad trwy hynny ddyfod yn elynion iddo. Canys ysgatfydd na oddefent i gynnifer a fuasent yn ymbilwyr o'i flaen ef gael eu lladd; ac i wneuthur trais iddynt, yn ol rhoddi sicrwydd am eu bywydau, ydoedd wrthwyneb i'w deimladau ei hun.

Pa fodd bynnag ei gyfeillion a fuont ry dost iddo; gan gymmeryd arnynt nad oedd dim a wnelid yn erbyn Iuddewon yn anghyfiawn; a bod yn ddyledus arno ystyried yr hyn oedd â budd oddi wrtho o flaen yr hyn oedd gymmwys, pan na ellid cynnwys y ddau i gyd-weithredu. Felly fe ganiattaodd iddynt fath o ryddid ammheus i wneud fel y cyngorasid; ac a adawodd i'r carcharorion fyned ar hyd y ffordd oedd yn arwain i Tiberias. Felly hwy gyd â pharodrwydd a gredasant fod yr hyn a ddymunent yn wir; a aethant ym mlaen mewn diogelwch yn eu meddyliau, a'u heiddo gyd â hwynt, y ffordd a bennodwyd iddynt; tra'r oedd y Rhufeiniaid yn amgylchu yr holl ffordd a arweiniai i Tiberias; fel nad elai neb o honynt oddiarni, gan eu cauad i fynu yn y ddinas. Yna y daeth Vespasian, ac a archodd iddynt oll sefyll yn y stadium; a gorchymmynodd ladd yr hên wŷr, ynghyd ag eraill oedd yn ddiddefnydd, y rhai mewn nifer oeddynt fil a dau cant. Allan o'r gwŷr ieuaingc fe ddewisodd chwe mil o rai mwyaf nerthol; ac a'u danfonodd i Nero i gloddio trwy'r Isthmus; ac fe werthodd y gweddill o honynt yn gaethion, y rhai oeddynt ddeng mil ar hugain a phedwar cant, heblaw y rhai a wnaeth yn anrheg i Agrippa. Canys am y rhai a berthynai i'w deyrnas ef, rhoddodd gennad i wneuthur fel yr ewyllysiai â hwynt. Ond y brenin a werthodd y rhai hynny hefyd yn gaeth-weision. Ac am weddill y lliaws, y rhai oeddynt Draconitiaid, Gaulanitiaid, a rhai o Hippos a Gadara; yr oeddynt, gan mwyaf, yn ymrysonwyr ac yn grwydraid; ac o'r fath ddrwg ymddygiad a'u bod yn dewis rhyfel o flaen heddwch. Y carcharorion hyn a gymmerwyd ar yr wythfed dydd o'r mis Gorpius, neu Elul. †

---

# LLYFR IV.

*Yn cynnwys yspaid o gylch Un Flwyddyn.*

## O'R GWARCHAE AR GAMALA, HYD DDYFODIAD TITUS I WARCHAE AR JERUSALEM.

### PENNOD I.

*Gwarchae ar, a chymmeryd Gamala.*

YN awr, yr holl Galileaid hynny, y rhai yn ol cymmeryd Jotapata, a wrthdrodd oddiwrth y Rhufeiniaid, a ddarfu iddynt, pan orchfygwyd Tarichea draddodi eu hunain i fynu drachefn iddynt. A'r Rhufeiniaid a dderbyniasant yr holl amddiffynfeydd a'r dinasoedd, oddigerth Gischala, a'r rhai a oresgynodd

* Dyma oedd y weithred greulonaf a mwyaf barbaraidd a gyflawnodd Vespasian yn yr holl ryfel hwn; pa un a gwblhawyd hefyd ganddo gyd ag anewyllysgarwch mawr. Fe'i gwnaethpwyd ar ol addewid gyhoeddus o arbed bwydau'r carcharorion; ac wedi i bawb wybod a chyfaddef nad oedd y trigolion hyn mewn un ffordd yn euog o ddim ymryson yn erbyn y Rhufeiniaid. Ac yn awr ni roddodd Titus yn awr ei gydsyniad, mor bell ag y mae'n ymddangos; ac ni weithredodd ei hun erioed mor farbaraidd. Nagê; yn fuan ar ol hyn, Titus a flinodd yn fawr ar dywallt gwaed, ac o gospi rhai dieuog gyd â throseddwyr.

† Bl 67.

fynydd Tabor. Gamala hefyd, yr hon sydd ddinas gyferbyn a Taricheæ, yr ochr arall i'r llyn, a gyd-fradwriasai â hwynt. Y ddinas hon oedd yn gorwedd ar derfyn teyrnas Agrippa, megis hefyd yr oedd Sogana, a Seleucia: a'r rhai hyn ydoedd bob un ymharthau Gaulanitis. Canys Sogana ydoedd yn Gaulanitis uchaf, fel yr oedd Gamala yn yr isaf. Pan ydoedd Seleucia a'i sefyllfa wrth y llyn Semechonitis, yr hwn lyn sydd ddeg ar hugain ystadau o led, ac yn drugain o hyd. Ei forfeudd sydd yn cyrraedd cyn belled a'r lle a elwir Daphne, yr hwn mewn amryw ystyriaethau sydd le hyfryd: ac sydd â'r fath ffynhonnau ynddo a'i fod yn dwyn dwfr i'r hyn a elwir yr Iorddonen fechan, o dan deml y llo aur, o ba le y rhed i'r Iorddonen fwyaf. Yn awr Agrippa a gyssylltasai Sogana a Seleucia wrth ystadau iddo ei hun, ar ddechrau'r gwrthryfel yn erbyn y Rhufeiniaid. Etto di ddarfu i Gamala gyttuno â hwynt: ond a hyderodd ar anhawstra'r lle, yr hyn ydoedd fwy na Jotapata. Canys ei sefyllfa ydoedd ar fryn creiglyd a chribog, gyd â math o wddf yn ei ganol. Lle y dechrau ei esgyniad, y mae'n ymestyn ei hun, ac yn gogwyddo cymmaint i lawr y tu blaen ag o'r tu ol; yn gymmaint a'i fod yn debyg i Gamel o ran ei lun, oddiwrth yr hwn y mae'n cael ei enw; er nad yw pobl y wlad yn ei henwi gyd â chywreinrwydd. Ar y naill du, ac yngwyneb y mannau yma, y mae lleoedd geirwon yn cael eu rhannu y naill oddi wrth y llall, ac yn diweddu mewn cymmoedd neu ddyffrynoedd dyfnion. Etto y mae y cyrrau olaf, a gyssylltir â'r mynydd, ryw faint yn haws o esgyniad ar hyd-ddynt nag eraill. Ond yna y bobl a berthynent i'r lle a dorrasant ffos neu glawdd dwfn yn groes i'r ffordd, ac a wnaethant y lle hwnnw hefyd yn anhawdd ei esgyn. Ar ei goriwfynu, yr hwn sydd uniawn, y mae tai wedi eu hadeiladu, a'r rhei'ny yn dra agos i'w gilydd. Mae sefyllfa'r ddinas hefyd mewn dull mor ddieithr, ac yn ymddangos megis pe syrthiai ar ei chefn ei hun: mor serth ydyw yn y cwm uchaf. Mae'n gogwyddo at y dehau; a'i mynydd deheuol, yr hwn sy'n cyrhaeddyd i uchder anghredadwy, ydoedd wrth natur yn fath o dŵr i'r ddinas: ac uwchlaw hwnnw yr oedd dibyn, heb furio o'i amgylch, ond yn cyrraedd i lawr i ddyfnder anfesuredig. Yr oedd hefyd ffynnon ddwfr y tu fewn i'r mur, ar derfyn eithaf y ddinas.

Megis ag yr oedd y ddinas hon wrth natur yn anhawdd ei chymmeryd; felly Josephus wrth furio o'i hamgylch a'i gwnaeth fyth yn gadarnach: ac hefyd trwy wneuthur ffosydd, a mwyn-gloddiau tan y ddaear. Y bobl a drigodd ynddi oeddynt yn hyfach oddi wrth natur y lle, nag a fuasai pobl Jotapata; ond yr oedd ganddi lawer llai o ymladdwyr o'i mewn. Ac yr oeddynt yn meddu y fath hyder yn sefyllfa'r lle, fel y tybiasant na allai'r gelyn fod yn rhy aml iddynt. Canys y ddinas a lanwasid â rhai a ffoesent yno am ddiogelwch, ar gyfrif ei chadernid. Ar ba gyfrif hwy a fuont yn allnog i wrthsefyll y rhai a ddanfonasai Agrippa i'w chymmeryd tros saith o fisoedd ynghyd.

Ond Vespasian a symmudodd o Emmaus, lle y gwersyllasai ddiweddaf, o flaen y ddinas Tiberias: (yn awr Emmaus, os deonglir hi, a ellir ei galw yn ymolchfa dwymn: canys yno y cyfyd dwfr cynnes, ag sy'n ddefnyddiol i iachâu:) ac a ddaeth i Gamala. Etto ei sefyllfa ydoedd yn gyfryw a'r na's gallai ei hamgylchu oll o gwmpas â milwyr i wylio arni. Ond y lle ag ydoedd gyfleus, fe osododd wŷr i wylio arno, ac a oresgynodd y mynydd oedd gyferbyn â hi. Ac fel yr oedd y llongau, yn ol eu harfer, yn amddiffyn eu gwersyll ar y mynydd hwnnw, fe ddechreuodd godi gwrthgloddiau yn y gwaelodion, ar du y dwyrain, lle'r ydoedd tŵr uchaf y ddinas yn sefyll, a'r lle y gwersyllodd y bymthegfed lleng: tra'r ydoedd y bummed lleng yn gwneuthur gwasanaeth gyferbyn â chanol y ddinas; a phan oedd y degfed lleng yn llenwi i fynu y ffosydd a'r pantiau. Yn awr ar yr amser hwn y bu, ddarfod i'r brenin Agrippa neshau at y muriau, gan ymdrechu i lefaru wrth y rhai a safai arnynt, mewn perthynas i'w hymostyngiad; pan y tarawyd ef â charreg gan un o'r ergydwyr, yn ei benelin ddehau. Amgylchwyd ef ar hynny yn ebrydd gan ei wŷr ei hun. Ond y Rhufeiniaid a gynhyrfwyd i ymosod ynghylch y cynllwyn, wedi digio ar gyfrif y brenin, ac o herwydd eu hofn am danynt eu hunain: gan benderfynu na fyddai i'r dynion hynny arbed un math o greulonder tu ag at ddieithriaid a gelynion; pan

ddangosasant y fath gynddaredd ynddynt tu ag at un o'u cenedl eu hun; ac un nad oedd yn eu cynghori i ddim ond a fyddai er eu mantais eu hunain.

Yn awr, wedi gorphen y gwrthgloddiau neu fryniau ymosodiadol, y rhai a wnaethpwyd ar fyrr, trwy'r lliaws o ddwylaw oedd ganddynt, a thrwy eu hamarferiad â'r fath orchwyl, hwy a ddygasant yno y peiriannau. Ond Chares a Joseph, y rhai ydoedd bennaethiaid y ddinas, a osodasant eu gwŷr arfog mewn trefn, er eu bod eisoes tan ddychryn, o herwydd iddynt feddwl na allai'r ddinas ddala allan yn hir, am nad oedd ganddynt fesur digonol o ddwfr, neu angenrheidau eraill. Pa fodd bynnag, eu blaenoriaid a'u cefnogodd hwynt, ac a'u dygasant allan ar y mur. A thros amser yn wir hwy a yrrasant ymaith y rhai a lusgent y peiriannau gerllaw iddynt. Ond pan ddechreuodd yr offerynnau hyn ergydio piccellau a cherrig attynt, hwy a giliasant i'r ddinas. Wedi hynny y dygodd y Rhufeiniaid y peiriant dyrnodiol at wahanol fannau, ac a wnaethant i'r muriau grynu a syrthio. Yna hwy a ymdywalltasant i mewn tros y rhannau hynny o'r mur ag oedd wedi syrthio, gyd â mawr sain udgyrn, a sŵn arfau, ac â bloeddiadau y milwyr: a thorrasant yn chwyrnwyllt i mewn ar warthaf y rhai oedd yn y ddinas. Ond gwŷr y ddinas tros ryw hyd a wrthsafasant y Rhufeiniaid ar eu dyfodiad cyntaf i mewn rhag myned ymhellach; a chyd â chefnogrwydd mawr a'u curasant yn eu hol. A'r Rhufeiniaid a drechwyd yn y fath fodd trwy liosowgrwydd mawr y bobl, y rhai a'u curasant ar bob tu, fel y gorfu iddynt ddiangc i gyrrau uchaf y ddinas. Ar yr hyn y bobl a droesant o amgylch y rhai a'u goddiweddodd hwynt ac a'u gyrrasant i lawr i'r cyrrau isaf; ac fel y cyfyngwyd arnynt o herwydd culni ac anhawstra'r lle, hwy a'u lladdasant. A chan na allai y Rhufeiniaid guro yn ol y rhai oedd uwchlaw iddynt, na chilio oddiar ffordd eu gwŷr eu hunain ag oedd yn ymwthio ym mlaen, gorfu arnynt ffoi i dai eu gelynion, y rhai oedd isel. Ond y tai hynny, wedi eu llenwi y modd yma o filwyr, pwysau pa rai ni allent gynnal, a syrthiasant i lawr yn ebrwydd. Ac wedi i un tŷ syrthio, fe ysgydwodd i lawr amryw ag oedd odditanodd; megis ag y gwnaeth y rhai hynny ag oedd tanynt hwythau. Trwy'r moddion hyn nifer mawr o'r Rhufeiniaid a ddifethwyd. Canys yr oeddynt yn y fath derfysg dychrynllyd, er gweled o honynt y tai yn gogwyddo, fe orfu arnynt neidio i'w pennau hwynt. Felly rhifedi mawr a ddrylliwyd yn chwilfriw gan eu hymchweliad; ac amryw o'r rhai a ymadawodd oddiwrthynt a gollasant eu haelodau: ond etto nifer mwy a fygwyd gan y llwch a gyfododd oddiwrthynt. Pobl Gamala a gyfrifodd hyn fel cymmorth wedi ei estyn iddynt gan Dduw: ac heb ystyried pa golled a gawsent eu hunain, gwasgasant ym mlaen, a gwthiasant y Rhufeiniaid ar nenn eu tŷau: a phan dramgwyddent yn yr heolydd serth a chulion, ac y syrthiasant yn barhaus, taflasant gerrig a phiccellau attynt fel y lladdwyd hwynt. Yn awr, cwymp y tŷau i lawr a barodd amlder o gerrig iddynt: ac am arfau heiyrn, y dynion meirw o blaid y gelyn a barodd ddigonedd iddynt: a thrwy ymaflyd ynghleddyfau y rhai meirwon, gorphenent â hwynt ladd y rhai hanner marw. Ië, llawer ydoedd o'r rhai ag a syrthiasant i lawr o nen y tŷau, ac a drywanasant eu hunain â'u cleddyfau, fel y buont feirw. Ac yn wir nid oedd hawdd i'r rhai a gurasid yn ol ddiangc ymaith. Canys yr oeddynt mor anadnabyddus o'r ffyrdd, ac yr oedd y llwch a ymdaenodd o amgylch o'r fath drwch, fel y crwydrasant o amgylch heb wybod y naill am y llall, ac y syrthiasant yn feirw ym mhlith y torfeydd.

Y rhai gan hynny a allasant gael y ffordd allan o'r ddinas a giliasant ymaith. Ond yn awr Vespasian a arferai bob amser aros ym mysg y rhai a ymosodid yn drymmaf arnynt; ac yr ydoedd yn tristâu yn fawr o herwydd adfeiliad tŷau y ddinas a fuasai yn ddistryw i'w fyddin, ac a anghofiodd ofalu am ei ddiogelwch ei hun. Aeth i fynu yn raddol tu a pharthau uchaf y ddinas cyn rhagweled ei fod wedi ei adael ynghanol peryglon, trwy gymmeryd ond ychydig o wŷr gyd ag ef. Canys ei fab Titus ei hun nid oedd gyd ag ef y pryd hwnnw, gan ddarfod ei ddanfon ef at * Mucianus. Pa fodd

* Y mae Tacitus yn dra mynych yn crybwyll am y Mucianus hwn, fel rhaglaw Syria, ac yn gyfaill mawr i Vespasian. Hanes l. t. d. 355, 397, 428, &c. 445, 466, 472, &c. 487, 505, 522, 527. A Spanheim sydd yn sicrhâu i ni, fod arian bathedig o'r eiddo ef yn aros hyd y dydd hwn. Efe mewn mannau eraill a lefarir am dano gan Josephus amrywiol o weithiau tan enw yr un sefyllfa, IV. 9, 16, ac 11. Hynaf. XII. 3.

bynnag fe dybiodd na allai gyd â diogelwch ffoi, a chyfrifodd yn beth anghymmwys iddo wneuthur felly. Ond gan alw i gof y gweithredoedd a gyflawnasai o'i ieuengctyd, a chan adgoffa ei wrolder, fel pe cynhyrfasid ef â rhyw gynddaredd oruwch-naturiol, fe orchuddiodd ei hun, a'r rhai oedd gyd ag ef â'u tariannau, ac a ffurfiodd amwisg heblaw hyn tros eu cyrph a'u harfogaeth: a hwy a ymgynnaliasant i fynu yn erbyn ymosodiadau'r gelynion, y rhai a ddeuent ar eu rhedfa i lawr o gwrr uchaf y ddinas; ac heb ddangos dim dychryn wrth y lliaws o ddynion, neu amlder eu piccellau, fe oddefodd y cwbl, nes i'r gelyn, trwy ddal sulw ar y cefnogrwydd goruwch-naturiol a gawsai, leihau eu hergydion. A phan bwysasant gyd â llai o awyddfryd arno, fe giliodd ymaith, er nad trwy gefnu arnynt nes myned y tu allan i furiau'r ddinas. Yn awr llawer o'r Rhufeiniaid a syrthiasant yn y frwydr hon; ym mysg pa rai yr oedd Ebutius, y dengwriad; gwr ag a ymddangosodd nid yn unig yn y frwydr hon ym mha un y syrthiodd, ond mewn brwydrau rhagflaenol, yn feddianol o'r gwrolder mwyaf; ac yn un a wnaethai ddrygau mawr i'r Iuddewon. Ond yr oedd yno ganwriad a'i enw Gallus; yr hwn wedi ei amgylchu yn amser y terfysg hwn, efe a deg o filwyr eraill, a ymlusgasant yn ddirgel i mewn, i dŷ rhyw un gerllaw; lle y clybu y cwmp'ni wrth swppera yn cyd-adrodd yr hyn a fwriadent ei wneuthur i'r Rhufeiniaid, ac ymherthynas iddynt eu hunain: (canys y gwr ei hun, a'r rhai oedd gyd ag ef oeddynt Syriaid:) Felly fe gododd i fynu yn y nos, ac a dorrodd wythi eu gwaed oll, ac a ddiangodd, a'i filwyr gyd ag ef, at y Rhufeiniaid.

Yn awr Vespasian a gyssurodd ei fyddin, y rhai oeddynt wedi mawr ddigalonni wrth eu haflwyddiant; ac o herwydd na ddarfuasai iddynt erioed o'r blaen syrthio i'r fath drychineb a thrallod: ac o herwydd eu bod, heblaw hyn, yn mawr gywilyddio ddarfod iddynt adael eu penciwdawd yn unig tan fawr beryglon. Am yr hyn a berthynai iddo ei hun, fe ymogelodd rhag dywedyd dim, fel nad ymddangosai mewn un modd yn achwyn o'i herwydd. Ond efe a ddywedodd, "Nyni a ddylem oddef yn wrol yr hyn sy'n arferol o ddigwydd mewn rhyfel; a hynny trwy ystyried pa beth yw natur rhyfel, a'r modd na ddichon fod i ni allu byth fuddugoliaethu heb dywallt gwaed ar ein tu ein hunain. Canys fe'n hamgylchir gan y ffortun hynny, pa un o'i natur ei hunan sydd yn gyfnewidiol. Chwychwi a laddasoch lawer deng mil o'r Iuddewon; ac, ar y llaw arall, chwithau a dalasoch yn awr eich rhan fechan i dynghedfen. Ac fel mai natur dynion o feddyliau gweiniaid ydyw ymchwyddo yn ormodol wrth lwyddiant; felly arfer y rhai ymddifad o galondid yw dychrynu wrth aflwyddiant. Canys y cyfnewidiad o'r naill i'r llall sydd ar bob tu. Ac efe yw'r milwr goreu, yr hwn sydd o feddyliau sobr tan golledion, fel y parhao yn y dymmer honno, nes adferyd yn siriol yr hyn a golledwyd o'r blaen. Ac am yr hyn a ddigwyddodd yn awr, ni ellid ei gyfrif i'n gwendid ni, nac i wrolder yr Iuddewon: ond anghyfleustra'r lle a barodd fantais iddynt, a siommedigaeth i ninnau. Wrth adfyfyrio ar ba ryw fatter, gallai un feïo ar eich sêl anllywodraethus chwi. Canys wedi i'r gelyn gilio i'w diogelfa uwchaf, chwi a ddylasech attal eich hunain; ac nid, wrth ymddangos ym mhen uchaf y ddinas, gosod eich hun yn agored i beryglon. Ond wedi i chwi gael meddiant o barthau isaf y ddinas, dylasech gymmell y rhai a giliasent yno i ymladdfa ddiogel a sefydlog: pan trwy ruthro mor fyrbwyll ym mlaen wrth orchfygu, ni chymmerasoch ofal am eich diogelwch. Ond yr anochelìad hwn mewn rhyfel, a thanbeidrwydd sêl, nid yw rëol Rufeinig, pan ydym ni yn cyflawni yr hyn oll a anturiom arno gyd â medr ac iawn drefniad. Y mynediad arall ym mlaen yw rhan barbariaid; a'r hyn yn bennaf a ymgynhelir wrtho gan yr Iuddewon eu hunain. Dylem ni gan hynny ddychwelyd at ein rhinwedd ein hunain; ac i fod yn hytrach yn ddigllon na llwfrhau oblegid ein anhap a'n diweddar golledion. Ac ymofyned pawb am ei gyssur o'i ddwylaw ei hun. Canys trwy'r moddion hyn fe ddial y rhai a ddifethwyd, ac a gospa y rhai a'u lladdodd hwynt. Am danaf fy hun mi ymdrechaf, fel y gwnaethum yn awr, i fyned yn gyntaf o'ch blaen yn erbyn eich gelynion ym mhob brwydr, ac i fod yn ddiweddaf yn ei gadael hi."

Felly Vespasian a gefogodd ei fyddin trwy'r araith hon. Ond am bobl Gamala, darfu iddynt ymwroli tros beth amser, oblegid y llwydd-

iant anarferol a gawsent. Ond pan ystyriasant ynddynt eu hunain nad oedd iddynt yn awr obaith am ammodau o heddwch, na chanddynt ffordd i fyned ymaith, a bod eu lluniaeth yn dechrau darfod, hwy a ddigalonwyd yn fawr, a'u cefnogrwydd a'u gadwodd. Etto ni esgeulusasant yr hyn a allai fod er eu hachubiaeth, cyn belled ag y medrent. Ond y rhai cadarnaf o honynt a wyliasant y rhannau hynny o'r mur ag oedd wedi eu curo i lawr: a'r rhai egwan a safasant ar fannau eraill ag oedd â'r muriau yn gyfan o amgylch eu dinas. Ac fel yr oedd y Rhufeiniaid yn codi eu bryncynau ac yn ymdrechu i ddyfod yr ail-waith i'r ddinas, llawer a ffoesant o honi trwy leodd anghyfannedd, lle nad oedd dim gwylwyr yn sefyll; megis hefyd trwy ogofeydd tan y ddaear: tra'r oedd y rhai a ofnasant eu dala, ac am hynny a arosasant yn y ddinas, yn marw o eisiau lluniaeth: canys yr hyn oedd ganddynt, a gasglwyd ynghyd o bob cwrr, ac a gadwyd i'r gwŷr a ymladdent.

A thyma'r amgylchiadau cyfyng ag yr oedd pobl Gamala ynddynt. Ond yn awr Vespasian a aeth o amgylch gweithred arall yn oed y cynllwyn hwn; a hynny oedd darostwng y rhai a oresgynasent fynydd Tabor; lle ag oedd yn gorwedd yn y canol rhwng y gwastadedd mawr a Scythopolis; brig pa un sydd yn cyrraedd uchder, o * ddeg ar hugain o stadau; ac sydd anhawdd ei esgyn o du'r gogledd. Ei ben neu frig sydd wastad, ac yn chwech ar hugain o stadau, ac wedi ei amgylchu oll â mur. Yn awr Josephus a osodasai i fynu y mur hwn mewn deugain niwrnod o amser; ac a'i harddodd â defnyddiau eraill, ac â dwfr o'r gwaelodion: canys y trigolion a wnaent ddefnydd yn unig o ddwfr gwlaw. Megis gan hynny yr oedd rhifedi mawr o bobl wedi dyfod ynghyd ar y mynydd hwn, Vespasian a ddanfonodd Placidus yno gyd â chwe chant o wŷr meirch. Yn awr fel yr oedd yn ammhosibl iddo ef esgyn i'r mynydd, fe gymmhellodd lawer o honynt i ymheddychu, trwy gynnyg ei ddeheulaw er eu diogelwch, a'i erfyniadau trostynt: yn ganlynol hwy a ddaethant i wared, ond gyd ag amcan bradwriaethus tu ag at y rhai o'r ochr arall. Canys Placidus a lefarodd yndyner wrthynt, gan fwriadu eu cymmeryd hwynt pan ddeuent i'r gwastadedd. Daethant hefyd i lawr, megis o gydsyniad â'i gynhygion: ond mewn gwirionedd yr ydoedd mewn trefn i'w gwympo ef pan na fyddai yn ei ddisgwyl. Pa fodd bynnag dyfais Placidus ydoedd rŷ galed i'r eiddynt hwy. Canys wedi i'r Iuddewon ddechrau ymladd, cymmerodd ef arno redeg ymaith: ac fel yr oeddynt yn erlid y Rhufeiniaid, fe'u denodd ym mhell o ffordd i'r gwastadedd, ac yna fe wnaeth i'w wŷr meirch ddychwelyd yn eu hol. Ar yr hyn y lladdodd nifer mawr o honynt; gan dorri ymaith enciliad gweddill y y lliaws, a'u lluddias i ddychwelyd yn ol. Felly hwy a adawsant Tabor, ac a ffoesant i Jerusalem. Ond pobl y wlad a heddychasant ag ef: canys eu dyfroedd a brinhaodd; felly hwy a roesant y mynydd a'u hunain i Placidus.

Ond am bobl Gamala, y rhai hyfaf o honynt a ffoesant ymaith, ac a ymguddiasant, tra'r oedd y rhai gwannaf yn marw o newyn. Eithr y gwŷr o ryfel a oddefasant y cynllwyn hyd yr eilfed dydd ar hugain o'r mis Hyperbereteus, neu Tisri. Pan y darfu i dri milwr o'r bymthegfed lleng, ynghylch y wyliadwriaeth foreu, gloddio tan dŵr uchel ag oedd yn agos attynt, heb wneuthur dim trwst; na phan ddaethant ychwaith i mewn, yr hyn ydoedd yn y nos, na phan oeddynt tano, ni ddarfu i'r rhai oedd yn ei wylied eu canfod hwynt. Y milwyr yma, gan hynny ar eu dyfodiad a ochelasant wneuthur dim sŵn. Ac wedi iddynt dreiglo ymaith bump o'r meini cadarnaf oddi tan yr adeilad, hwy a aethant ymaith gyd â brys; ar yr hyn y syrthiodd y tŵr yn ddisymmwth i lawr, gyd â sŵn tramawr, a'i wylwyr bendramwnwgl a syrthiasant gyd ag ef; fel y darfu i'r rhai a wyliasant ar fannau eraill fod yn y fath ddychryn a ffoi o honynt ymaith. Y Rhufeiniaid

* Y nifer yma yn Josephus o 30 o 'stadau yn yr esgyniad i ben mynydd Tabor, pa un ai y cyfrifem wrth drofeydd a graddau, neu unionsyth uchder; ac 26 o 'stadau ar ei frig: megis hefyd y 15 o 'stadau am yr esgyniad hwn yn Polybius: gyd â'r uchder unionsyth o gylch 14 o stadau, a nodir yma gan Dr. Hudson, nid oes un o'r rhai hyn yn cyttuno â thystiolaeth gadarnhaol Mr. Maundrell, yr hwn oedd lygad-dyst o'r lle, t. d. 112: ac sydd yn dywedyd, na fu efe uwchlaw awr yn myned i fynu i ben mynydd Tabor; a bod y lle ar ben y mynydd yn hirgrwn, ynghylch dwy ystad o hyd, ac un o led. Felly yr wyf yn hytrach yn meddwl i Josephus ysgrifennu 3 o 'stadau am yr esgynfa, yn lle 30; a chwech ystad am y cwmpasiad ar frig y mynydd, yn lle 26. gan y dichon mynydd o dair 'stad o uchder unionsyth, ofyn yn hawdd un awr o esgyniad: a chwmpas y lle hirgrwn o'r maintioli rhag-flaenol, sydd agos i chwech o stadau. Ac yn sicr ni's gallai'r fath gwmpas anarferol a 26 o stadau, neu tair milldir a chwarter ar le mor uchel, fod wedi ei amgylchu â mur, gyd â ffos-glawdd, ac amddiffynfeydd eraill y rhai oedd etto ysgatfydd yn aros, yn y cyfwng bychan o ddeugain niwrnod, fel y dywed Josephus ei hun eu gwneuthur.

hefyd a laddasant o'r rhai a anturiai eu gwrthwynebu hwynt, ym mysg pa rai yr oedd un Joseph, yr hwn a laddwyd gan biccell, fel ag yr oedd yn diangc ymaith tros y darn hwnnw o'r mur a dorrasid i lawr. Ac fel yr oedd y rhai o fewn y ddinas wedi dychrynu yn fawr wrth y sŵn, hwy a redasant yn ol ac ym mlaen, a braw mawr a ddisgynodd arnynt, fel pe buasai'r gelynion wedi dyfod ar unwaith ar eu gwathaf hwynt. Yna y bu i Chares, yr hwn ydoedd glaf, a than ddwylaw'r physygwyr, roddi i fynu 'r yspryd; oblegid fod yr ofn a ddaethai arno yn foddion i wneud ei afiechyd yn farwolaeth iddo. Ond y Rhufeiniaid a gofiasant eu haflwyddiant o'r blaen mor dda fel na wnaethant fynediad i mewn i'r ddinas hyd y trydydd dydd yr hugain o'r mis rhagddywededig.

Ar yr amser hwnnw Titus, yr hwn yn awr a ddychwelasai at ei dad, oddi ar y digter yr oedd ynddo o herwydd dinystr y Rhufeiniaid tra'r ydoedd yn absenol, a gymmerodd ddau cant o wŷr meirch dewisol, a rhai gwŷr traed gyd â hwynt, ac a aeth yn ddi-drŵst i'r ddinas. Yn awr fel yr oedd y gwylwyr yn canfod ei ddyfodiad, hwy a waeddasant, ac a aethant tan arfau. Ac fel y gwybwyd yn fuan am ei ddyfodiad i mewn gan y rhai oedd yn y ddinas; rhai a ymafaelasant yn eu gwragedd a'u plant, ac a'u llusgasant ar eu hol, gan ffoi ymaith i'r tŵr, â chri ac wylofain; tra'r aeth eraill i gyfarfod Titus, ac a'u lladdwyd yn olynol. Ond cynnifer o honynt ag a luddiwyd i fyned i fynu i'r tŵr, heb wybod yn y byd pa beth i'w wneuthur, a syrthiasant i blith gwarchawdlu y Rhufeiniaid, tra'r oedd gruddfanau y rhai a laddwyd yn fawr ym mhob cwrr; a gwaed a redodd i lawr tros holl barthau isaf y ddinas, o'r parthau uchaf. Ond yna Vespasian ei hun a ddaeth yn gynnorthwy iddynt yn erbyn y rhai a ffoesent i'r tŵr, gan ddwyn ei holl fyddin gyd ag ef. Yn awr cwrr uchaf y ddinas ydoedd dra chreiglyd bob ffordd, yn anhawdd ei dringo, gan ddyrchafu i uchder mawr, ac yn llawn o bobl ar bob llaw, a lleoedd serth ar bob tu. Trwy'r hyn yr Iuddewon a dorrasant ymaith y rhai a ddeuai i fynu attynt, ac a wnaethant niweid mawr i eraill, trwy saethu eu piccellau, a'r cerrig mawrion a dreiglasant i lawr arnynt. Tra'r oeddynt hwy eu hunain mor uchel, na's gallai saethau'r gelynion ond yn brin eu cyrraedd hwynt. Pa fodd bynnag fe gyfododd y fath dymmestl oddi uchod yn eu herbyn, ag oedd yn offerynol i'w dinystrio. Hyn a ddygodd biccellau y Rhufeiniaid arnynt, ac a wnaeth i'r rhai a saethent hwy ddychwelyd yn ol, gan eu gyrru yn ŵyrdraws oddi wrthynt. Ac ni allai'r Iuddewon sefyll ar eu rhiwiau, o herwydd nerthoedd y gwynt, fel nad oedd ganddynt un lle cadarn i ymsefydlu eu hunain arno. Ac ni allent ganfod y rhai a ddringai i fynu attynt. Felly fe ddaeth y Rhufeiniaid, ac a'u hamgylchynasant hwynt: a rhai a laddasant cyn y gallent amddiffyn eu hunain; ac eraill fel yr oeddynt yn rhoddi eu hunain i fynu iddynt hwy. Coffadwriaeth am y rhai a laddwyd ar eu dyfodiad o'r blaen i'r ddinas; a chwanegodd yn awr eu llidiowgrwydd i'w herbyn. Nifer mawr hefyd o'r rhai a amgylchwyd ar bob tu, ac a oeddynt yn an-obeithio diangc, a daflasant eu plant, a'u gwragedd, a hwy eu hunain i lawr tros y dibyn, i'r cymmoedd islaw, y rhai yn agos i'r tŵr a gloddiasid i ddyfner mawr. Ond fe ymddangosodd nad oedd digofaint y Rhufeiniaid gymmaint a chynddaredd y rhai yn awr a gymmerasid ganddynt: canys y Rhufeiniaid ni laddasant ond pedair mil o honynt; pan oedd nifer y rhai a fwriasant eu hunain i lawr tros y dibyn yn bum mil. Ac ni ddiangodd o honynt un, oddigerth dwy o ferched a berthynent i Philip; a Philip ei hun ydoedd fab i wr enwog a elwid Jacimus, yr hwn a fuasai gynt yn gad-flaenor ym myddin y brenin Agrippa. A'r rhai hyn a ddarfu iddynt ddiangc, o herwydd iddynt ymguddio rhag llid y Rhufeiniaid pan gymmerwyd y ddinas: canys yn amgen ni arbedasant hwy gymmaint â'r plant-sugno; llawer o ba rai a ergydiasant o'r tŵr i lawr tros y dibyn. Ac fel hyn y cymmerwyd Gamala ar y trydydd dydd ar hugain o'r mis Hyperberetëus, neu Tisri; pan ddarfuasai i'r ddinas gyntaf wrthryfela ar y pedwerydd dydd ar hugain o'r mis Gorpïeus, neu Elul.

## PENNOD II.

*Ymostyngiad Gischala; pan y mae Ioan yn ffoi ymaith o honi i Jerusalem.*

YN awr nid oedd un lle yn Galilea yn aros i'w gymmeryd, ond dinas fechan Gischala; tri-

golion pa un oeddyntetto yn ewyllysio heddwch; canys llafurwyr oeddynt hwy yn gyffredin, ac a arferent eu hunain i drin ffrwythau'r ddaear. Pa fodd bynnag yr oedd yno nifer lawer yn perthyn i lu o yspeilwyr, ac wedi eu llygru eisoes, ac ymlusgo i mewn i'w plith hwynt, a rhai o blaid llywodraethol y ddinas oeddynt yn afiach o'r un clwyf. Yr un a'u harweiniodd i'r gwrthryfel yma ydoedd Ioan, mab Lefi, yr hwn a'u cefnogodd ynddo. Dyn cyfrwys-ddrwg ydoedd efe, ac o'r fath dymmer ag yr ymddangosai mewn amryw ddull neu agwedd: tra byrbwyll mewn disgwyliad o bethau mawrion; a thra synhwyr-gall i ddwyn o amgylch yr hyn a feddyliai am dano. Yr oedd yn adnabyddus i bawb ei fod ef yn hoffi rhyfel, mewn trefn i wthio ei hun i awdurdod. A'r blaid ymrysongar o bobl Gischala oeddynt tan ei awdurdod ef. Trwy ba foddion y werin, y rhai a ymddangosasant yn barod i ddanfon cennadwyr mewn trefn i roddi i fynu'r ddinas, a ddisgwyliasant am ddyfodiad y Rhufeiniaid yn barod i frwydr. Vespasiau a ddanfonodd Titus i'w herbyn, gyd â mil o wŷr meirch; ond fe gymmerodd ymaith y ddegfed lleng i Scythopolis; tra'r oedd efe yn dychwelyd i Cæsarea, gyd â dwy o lengau eraill, fel y rhoddai amser iddynt i ymadnewyddu eu nerth, yn ol hir a chaled ymladdfeydd: gan dybio gyd â'r cwbl y byddai i'r llawnder oedd yn y dinasoedd hynny adnewyddu cryfdwr eu cyrph a'u hysprydoedd, gogyfer â'r anhawsterau yr oeddynt i fyned trwyddynt yn ol-llaw.

Canys fe ddeallodd fod achos wrth ymdrech ac ymboenau mawr o amgylch Jerusalem, yr hon etto ni chymmerasid, o herwydd mai y frenhinol ddinas ydoedd, a phrif-ddinas yr holl genedl: ac o herwydd fod y rhai a ddiangasent rhag y rhyfel mewn dinasoedd eraill, wedi ymgasglu ynghyd yno. Yr ydoedd hefyd yn lle o gadernid wrth naturiaeth; a'r muriau a adeiladasid o'i hamgylch a barodd iddo ofidio nid ychydig o'u herwydd. Ymhellach fe gyfrifodd y dynion ag ydoedd ynddi o gymmaint calondid, fel heblaw'r ystyriaeth o'r muriau, y byddent anhawdd eu darostwng. Am ba reswm fe gymmerodd ofal am driniaeth addas i'w filwyr gogyfer â'r gorchwyl mawr hwn; megis y gwnant i'r ymdrechwyr o flaen eu campau difyrol.

Yn awr Titus, fel yr oedd yn marchogaeth i fynu i Gischala, a gafodd fod yn hawdd cymmeryd y ddinas ar yr ymosodiad cyntaf: ond a wybu gyd â'r cwbl, os cymmerid hi trwy drais, y difethid y lliaws gan y milwyr yn ddidrugaredd: (canys yr oedd efe eisoes wedi cael digon ar dywallt gwaed; ac yn dwyn tosturi at y rhan fwyaf o'r bobl, y rhai y pryd hynny a ddifethid yn ddiwahân, ynghyd â'r rhai euog.) Felly'r oedd yn hytrach yn fwy dewisol ganddo i'r ddinas gael ei rhoddi i fynu iddo ar ammodau. Yn ganlynol, pan welodd y muriau yn llawn o'r dynion hynny ag oedd o'r blaid wrthryfelgar, dywedodd wrthynt, na allai lai na rhyfeddu ar ba beth yr oeddynt yn hyderu; pan oeddynt hwy yn unig yn aros i ymladd â'r Rhufeiniaid, pryd yr oedd pob dinasoedd eraill wedi eu cymmeryd ganddynt. Yn enwedig pan welsent ddinasoedd eraill cadarnach na'r eiddynt hwy, wedi eu dadymchwel ar unwaith. Tra y darfu i gynnifer a ymddiriedasant i sicrwydd deheulaw y Rhufeiniaid, ag oedd yn awr yn ei gynnyg iddynt hwy, heb ystyried y trahaustra o'r blaen, yn mwynhau eu meddiannau eu hunain mewn diogelwch. Canys tra fyddent mewn gobaith o adferyd eu rhyddid, gellid eu pardynu hwynt. Ond eu parhad o hyd i wrthwynebu, pan welent hynny yn ammhosibl, ydoedd anesgusodol. Canys os na chydsynient â'r fath gynhygion o ddynoliaeth, a sicrwydd y ddeheulaw, hwy a gaent brofi y fath ryfel a'r na arbedai neb; ac y gwnaed iddynt yn fuan deimlo na byddai eu mur ond peth distadl, pan ei dryllid gan beiriannau y Rhufeiniaid: wrth ymddiried i ba un y dangosent eu hunain yr unig Galileaid nad oeddynt ddim gwell na thrahaus gaeth-weision.

Yn awr ni allai neb o'r werin, nid yn unig wneuthur dim attebiad, ond ni feiddient gymmaint a sefyll i fynu ar y mur. Canys yr ydoedd oll wedi ei feddiannu gan yr yspeilwyr; y rhai hefyd oedd warcheidwaid y pyrth, mewn trefn i ragflaenu pawb o'r lleill rhag myned allan i sefydlu ammodau o ymostyngiad â'r Rhufeiniaid; a rhag gwneuthur derbyniad o neb o'r gwŷr meirch i'r ddinas. Ond Ioan a ddychwelodd yr attebiad hwn i Titus, "Ei fod o'i ran ei hun yn foddlon i wrando ar ei gynhygion; ac y byddai iddo un a'i perswadio neu blygu y

rhai anufudd o orfod. Etto dywedodd, y dylasai Titus ddangos y fath barch i'r gyfraith Iuddewig, a rhoddi cennad iddynt i gadw yn ŵyl y dydd hwnnw, pa un oedd y seithfed dydd o'r wythnos: ar ba un yr oedd yn anghyfreithlon iddynt, nid yn unig i symmud eu harfau, ond i sefydlu heddwch hefyd. Ac nad oedd ddim yn anwybod i'r Rhufeiniaid, y modd yr oedd dychweliad y seithfed dydd yn eu mysg hwynt yn orphwysiad oddi wrth bob llafur: a bod y rhai a'u cymhellai i droseddu'r gyfraith mewn perthynas i'r dydd hwnnw, yn gydradd euog â'r rhai a gymhellid i'w throseddu. Ac na allai hyn o oediad fod o un anfantais iddo. Canys paham y dylai neb feddwl am wneuthur dim yn y nos, oddi eithr i ffoi ymaith? Yr hyn a allai efe ei ragflaenu trwy osod i fynu ei wersyll o amgylch iddynt: ac y cyfrifent hwy yn ffafr fawr, os na orfyddai iddynt droseddu cyfreithiau eu gwlad. Ac y byddai yn beth iawn iddo yntau yr hwn a arfaethodd gynnyg heddwch iddynt, heb ddisgwyliad ganddynt am y fath ffafr, i gadw cyfreithiau y rhai a arbedent yn ddidrais." Fel hyn y darfu i'r dyn yma wneuthur twyll â Thitus; nid yn gymmaint o ran parch i'r seithfed dydd, ag i'w achubiaeth ei hunan: canys ofnodd y gadewid ef wrtho ei hun os cymmerid y ddinas: yr oedd yn gobeithio achub ei fywyd y nos honno, trwy ffoi ynddi o'r ddinas. Yn awr gwaith Duw ydoedd hyn; yr hwn gan hynny a gadwodd yr Ioan yma, fel y dygai ym mlaen ddinystr Jerusalem. Megis hefyd ei waith ef ydoedd, ddarfod i Titus gael ei ennill â'i resymmau ffuantus i wneuthur oed; fel ag y symmudodd ei wersyll ymhellach oddi wrth y ddinas, i Cydessa. Y Cydessa hon ydoedd faesdref gadarn, yn perthyn i'r Tyriaid, ac yn agos i'r môr canoldir; yr hon oedd bob amser yn casau, ac yn gwneud rhyfel â'r Iuddewon. Yr ydoedd hefyd ag ynddi nifer mawr o drigolion, ac amddiffynfeydd o'i hamgylch; yr hyn a'i gwnaeth yn lle cymmwys i rai oedd elynion i'r Iuddewon.

Yn awr yn y nos pan weled Ioan nad oedd un gwarchawdlu Rhufeinig o amgylch y ddinas, fe ymaflodd yn y cyfleusdra yn ddioed: a chan gymmeryd gyd ag ef nid yn unig y gwŷr arfog oedd o'i amgylch, ond rhifedi helaeth o rai ag oedd ganddynt ychydig i'w wneuthur, ynghyd â'u teulnoedd, ac a ffodd i Jerusalem. Ac yn wir er bod y gwr yn gwneuthur brys i fyned ymaith, ac yn flinedig gan yr ofnau o fod yn gaethwas, neu golli ei fywyd; etto fe ymrodd ynddo ei hun i gymmeryd allan o'r ddinas gyd ag ef liaws o wragedd a phlant cyn belled ag ugain o stadau; ond yno y gadawodd hwynt fel ag yr ydoedd yn myned rhagddo ar ei daith; lle y gwnaeth y rhai a adawyd ar ol grî mawr: canys pa bellaf yr oedd pob un o honynt wedi dyfod oddi wrth ei bobl ei hun, tybiasant eu bod yn agosach at eu gelynion. Dychrynasant eu hunain hefyd â'r meddwl,fod y rhai a'u dygai i gaethiwed yn agos gerllaw; ac a edrychent yn fynych o'u hol yn unig wrth y swn a wnaent eu hunain yn eu ffoedigaeth; fel pe buasai y rhai a ffoent rhagddynt ar eu gwarthaf hwynt. Llawer hefyd a gollasant eu ffordd: a'r brys oedd ar rai o honynt i fyned o flaen y lleill, a daflodd amryw i lawr. Ac yn wir distryw truenus a wnaed ar y gwragedd a'r plant. Pan y cymmerodd rhai o honynt galondid i alw eu gwŷr a'u carennydd yn ol: ac i attolygu arnynt, â chwerw wylofain, eu haros hwynt. Ond annogaeth Ioan, yr hwn a waeddodd allan arnynt am achub eu hunain a ffoi ymaith, a orfyddodd. Dywedodd hefyd, os goresgynai y Rhufeiniaid y rhai a arosent ar ol, y dialent arnynt o'i herwydd. Felly y lliaws yma y rhai a redasant fel hyn ymaith a wasgarwyd o amgylch, yn ol gallu pob un i wneud eu rhedfa, rhai yn gyflymach, ac eraill yn hwyrdrymach na'u gilydd.

Yn awr ar y dydd nesaf Titus a ddaeth at y mur i wneud cyttundeb. Ar yr hyn y bobl a agorasant eu pyrth, ac a ddaethant allan i gyfarfod ag ef, gyd â'u plant a'u gwragedd; ac a wnaethant grechweniau o lawenydd wrtho, fel un a fuasai yn gymmwynaswr iddynt, ac a waredasai y ddinas o gaethiwed. Hyspysasant ef hefyd am ddiangfa Ioan; ac a attolygasant iddo eu harbed hwynt, a dyfod i mewn, a dwyn gweddill y rhai oedd am wrthryfel tan gospedigaeth. Ond Titus, heb sylwi gymmaint ar erfyniadau'r bobl, a anfonodd ran o'i wŷr meirch i erlid ar ol Ioan. Ond ni's gallent ei orddiwes, canys efe a aethai i Jeruselem o'r blaen: hwy hefyd a laddasant chwe mil o'r gwragedd â'r plant a aethent allan gyd ag ef: ond a ddychwelasant yn ol gyd â hwynt yn agos i dair mil. Pa fodd

bynnag Titus a anfoddlonodd yn fawr am na allai ddwyn yr Ioan hwn a'i twyllasai ef i gospedigaeth. Etto'r oedd ganddo amlder o gaethion, yn gystal â'r rhan ymrysongar o'r ddinas i foddhau ei ddigter, wedi colli Ioan. Felly fe ddaeth i mewn i'r ddinas ynghanol bloddest o lawenydd. Ac wedi rhoddi o hono orchymmyn i'r milwyr hynny fwrw i lawr ran o'r mur, megis dinas a gymmerasid trwy ryfel; fe ddarostyngodd y rhai a aflonyddodd y ddinas yn hytrach trwy fygythion na chospedigaethau. Canys meddyliodd y cyhuddid llawer oedd ddieuog trwy gynfigen personau neillduol tu ag attynt, os anturiai wahaniaethu y rhai teilwng o gospedigaeth oddiwrth y lleill: a bod yn well cynnwys un euog tan ei amheuaeth, na difetha neb gyd ag ef a'r nad oedd yn ei haeddu, ac â chywilydd arno am ei droseddiadau blaenorol, wedi darfod unwaith faddeu iddo: ond na allai cosp y rhai unwaith a roddwyd i farwolaeth gael fyth ei adferyd. Pa fodd bynnag fe osododd wersyllfa yn y ddinas er ei diogelwch: trwy ba foddion yr attelid y rhai oedd am wrthryfel rhag cael eu hamcan; ac y gadawai y rhai oedd o duedd heddychol mewn mwy o ddiogelwch. A'r modd hwn y cymmerwyd holl Galilea; ond nid heb i'r Rhufeiniaid ymboeni llawer cyn y gellid ei chymmeryd ganddynt.

## PENNOD III.

*Ymherthynas i Ioan o Gischala; y brwdfrydwyr ar archoffeiriad Ananus: hefyd am yr ymbleidiau a gyfodwyd gan yr Iuddewon yn Jerusalem.*

AR ddyfodfa Ioan i Jerusalem, holl gorph y bobl a aethant yn derfysglyd: a deng mil o honynt a dyrrasant ynghylch y rhai crwydredig a ddaethant attynt; gan ymholi pa ryw drallodion a ddigwyddasai mewn lleoedd pellennig: pan yr ydoedd eu hanadl mor fyr, mor boeth, a chyflym, a'i fod o hono ei hun yn datgan y cyfyngder yr oeddynt ynddo. Etto hwy a siaradent bethau mawrion tan eu haflwyddiant; a chymmerasant arnynt ddywedyd, na ffoesant rhag y Rhufeiniaid, ond a ddaethent yno i ymradd â hwynt gyd â llai o berygl. Oblegid ei fod yn beth afresymmol iddynt anturio eu hunain i ymladdfeydd o amgylch Gischala, a'r fath ddinasoedd egwan; pan y dylent drysori i fynu eu harfau, a'u sel, a'u cadw i wneuthur defnydd o honynt yn y brif-ddinas. Ond pan adroddasant iddynt am gymmeriad Gischala, a'u hymadawiad diberygl, fel y cymmerent hwy arnynt, o'r lle hwnnw; llawer o'r bobl a'i cymmerasant am ddim gwell na ffoedigaeth. Ac yn enwedig pan ddywedwyd i'r bobl gan y rhai a gymmerasid yn gaethion eu bod tan derfysg mawr; a dyfalu o honynt am y pethau hynny eu bod yn arwyddion amlwg y cymmerid hwythau hefyd. Ond am Ioan, nid ydoedd yn gofidio ond ychydig am y rhai a adawsai ar ol; ond fe aeth o amgylch ym mhlith y bobl, gan eu perswadio i fyned i ryfel, â'r gobeithion a roddodd efe iddynt. Sicrhaodd hefyd fod matterion y Rhufeiniaid mewn cyflwr o iselder, gan dderchafu ei awdurdod ei hun. Goganodd hefyd anwybodaeth y rhai diddeall, fel pe byddai y Rhufeiniaid hynny, er gwneuthur iddynt eu hunain adenydd, yn rhy analluog fyth i ehedeg tros furiau Jerusalem, y rhai a brofasent gymmaint o anhawstra yn cymmeryd pentrefi Galilea, ac a ddrylliasent eu hofferynnau rhyfel yn erbyn y muriau hynny.

Yr areithiau hyn o eiddo Ioan a gynhyrfodd liaws mawr o'r gwŷr ieuaingc ac a'u chwyddodd i fynu i ryfel. Ond am y rhan fwyaf pwllog o'r bobl, a'r rhai oedranus mewn blynyddau, nid oedd un dyn o honynt heb ragweled yr hyn a ddeuai, ac a alarasant ar y cyfrif hwnnw, fel pe buasai'r ddinas eisoes wedi ei dad-wneuthur. A thyma'r cyflwr yr oedd y bobl ynddo. Ond yna rhaid sylwi fod y lliaws a ddaethant o'r wlad mewn anghydfod cyn dechrau'r ymrysonau yn Jerusalem. Canys Titus a aeth o Gischala i Cæsarea, a Vespasian o Cæsarea i Jamnia ac Azotus, ac a gymmerodd bob un o'r rhai hyn: ac wedi gosod gwersylloedd ynddynt, fe ddaeth yn ol gyd â lliaws mawr o'r bobl, y rhai a ddaethent trosodd atto ef, ar ei waith yn rhoddi iddynt ei ddeheulaw er eu diogelwch. Yr ydoedd heblaw hyn afreolaeth a gwrthryfel ym mhob dinas: a rhai ag oedd â llonyddwch oddi wrth y Rhufeiniaid, oeddynt â'u dwylaw y naill yn erbyn y llall. Yr ydoedd hefyd ymryson chwerw rhwng y rhai oedd yn hoffi rhyfel, a'r rhai hynny ag oedd yn ewyllysio heddwch. Ar y cyntaf y dymmer gwerylus hon a feddianodd deuluoedd neillduol,

y rhai ni chyttunent yn eu mysg eu hunain. Ar ol hyn y bobl ag oedd anwylaf ganddynt eu gilydd, a dorrasant bob rhwymau oedd ar y naill ymherthynas i'r llall: a phob un a ymgymdeithasai â rhai o'i dŷb ei hunan; a dechreuasant eisoes sefyll mewn gwrthwynebiad i'w gilydd. Felly ymrysonau a gyfododd ym mhob man; pan y darfu i'r rhai oedd am newidiadau, ac yn dewis rhyfel, trwy eu hieuengctyd a'u hyfdra, fod yn rhy drech i'r rhai pwyllog ac oedranus. Ac yn y lle cyntaf, yr holl bobl a roesant eu hunain i ysglyfaethu, ac ar ol hynny ymgasglasant eu hunain yn gyrph cryfion, mewn trefn i yspeilio pobl y wlad. Yn gymmaint ag mewn creulondeb a drygioni, ni wahaniaethid mewn un modd y rhai o'r un genedl oddiwrth y Rhufeiniaid. Iê, fe ymddangosai yn beth llawer ysgafnach iddynt gael eu hanrheithio gan y Rhufeiniaid, na chanddynt hwy.

Yn awr y gwersyllwyr Rhufeinig ag oedd yn gwylied y dinasoedd, mewn rhan oblegid eu hanfoddlonrwydd i gymmeryd y blinder hwnnw arnynt, ac mewn rhan oddiar y casineb yr oeddynt yn ei ddwyn at y genedl Iuddewig, ni wnaethant ond ychydig neu ddim tu ag at gynnorthwyo 'r anghenus. Nes i gadbeniaid y minteioedd hynny o yspeilwyr, wedi cael eu digoni ag ysglyfaeth yn y wlad, gael y cwbl ynghyd o bob parth; a dyfod o honynt yn fintai o ddybirwyr, a'r cwbl yn ymlusgo i mewn i Jerusalem, yr hon a ddaethai yn ddinas heb lywydd arni: ac, yn ol y ddefod hynafiaethol, derbyniasant i mewn bawb, yn ddiwahân a berthynent i'w cenedl. A'r rhai'n a dderbyniasant y pryd hynny, o herwydd i bawb ddychymmygu fod cynnifer ag a ddeuent i ymprydio i'r ddinas, yn dyfod o ran ffyddlondeb, ac er cynnorthwy iddynt. Ond y dynion hyn, heblaw yr ymrysonau a godasant, a fuont mewn modd amgen yn uniawn achos hefyd o ddistryw y ddinas. Canys fel yr oeddynt yn dyrfa annefnyddiol, hwy a dreuliasant yr ymborth ym mlaen llaw, yr hwn mewn modd arall a allasai fod yn gynhaliaeth i'r bobl ymladdgar. Ym mhellach, heblaw dwyn y rhyfel ym mlaen, yr oeddynt yn achos o'r ymryson a'r newyn a ddaeth gyd ag ef.

Yr ydoedd heblaw y rhai hyn yspeilwyr eraill o'r wlad, y rhai a ddaethant i mewn i'r ddinas; ac wedi ymgyssylltu â rhai oedd waeth na hwy eu hunain, ni ymgadwasant rhag un math o farbariaeth. Canys ni fesurasant eu hyfdra wrth eu hysglyfaethau a'u hanrhaith yn unig, ond a aethant mor bell ag i ladd dynion; a hynny nid yn y nos ac yn ddirgel, neu ymherthynas i ddynion cyffredin, ond a'i gwnaethant yn amlwg wrth liw dydd; ac a ddechreuasant ar y gwŷr godidoccaf yn y ddinas. Canys yr un cyntaf a ddechreuasant arno oedd Antipas, un o'r had brenhinol, a'r gwr galluoccaf yn yr holl ddinas, yn gymmaint a bod y trysorau gwladol yn cael eu hymddiried iddo ef. Hwn a gymmerasant ac a'i dodasant yngharchar; megis ag y gwnaethant yn y lle nesaf i Levius, gwr o gyfrifiad mawr, gyd â Sophas mab Raguel, pob un o ba rai ydoedd hefyd o'r hil frenhinol. Ac heblaw y rhai hyn hwy a wnaethant yr un peth â'r gwŷr pennaf yn y wlad. Hyn a barodd fraw a dychryn mawr ym mysg y bobl; a phob un a ofalodd yn unig am ei ddiogelwch ei hun, megis y gwnaent pan gymmerid y ddinas trwy ryfel.

Ond ni foddlonodd y rhai hyn ar y rhwymau ym mha rai y dodasent y gwŷr rhagddywededig. Ac ni feddyliasant yn beth diberygl iddynt eu cadw y modd hwn yn hir mewn carchar; gan eu bod yn wŷr tra enwog, a chanddynt deulnoedd lliosog ag a allai eu dial eu hunain. Ië, meddyliasant y byddai i'r bobl, ysgatfydd, eu hunain gael eu cynhyrfu yn y fath fodd wrth y gweithredoedd anghyfiawn hyn, ag y codent yn un corph i'w herbyn. Penderfynwyd gan hynny eu lladd hwynt. Yn ganlynol hwy a ddanfonasant un Ioan, yr hwn oedd y mwyaf gwaedlyd yn eu mysg, i gwblhau y dibenyddiad. Y dyn hwn a elwid hefyd yn fab* Dorcas, yn iaith ein gwlad ni. Aeth gyd ag ef ddeg o ddynion i'r carchar, a chleddyfau noethion, ac felly torrasant wythi-gwaed y rhai oedd yn rhwym yno. Y prif-esgus a wnaeth y dynion hyn ydoedd, tros y fath weithred farbaraidd, fod gan y gwŷr hyn gymdeithas â'r Rhufeiniaid, ac am draddodi Jerusalem iddynt: ac felly dywedasant ladd o honynt yn unig y rhai oedd fradychwyr eu

* Yr enw hwn Dorcas yn Groeg, ydoedd Tabitha yn Hebraeg neu Syriaeg, megis yn Actau ix. 36. Yn ganlynol rhai o'r llaw-'sgrifenadau a'r gosodasant i lawr yma Tabitha neu Tabete. Ac ni ellir deall y darlleniad blaenorol iddo yn Josephus, ond trwy feddwl fod y darlleniad fel hyn, Mab Tabitha; yr hyn yn iaith ein gwlad ni a arwydda Dorcas, neu ewig.

rhyddid cyffredin. Ar y cwbl, hwy a dyfasant yn fwy trahaus oddi ar y ddrwg-weithred hon o'r eiddynt, fel ped hwy a fuasent gymmwynaswyr ac achubwyr y ddinas.

Yn awr y bobl oedd wedi dyfod i'r fath radd o iselder ac ofn, a'r yspeilwyr i'r cyfryw radd o ryfyg a gwallgofrwydd, fel y darfu i'r rhai diweddaf hyn, gymmeryd arnynt i wneuthur * archoffeiriaid. Felly wedi iddynt ddiddymu'r dilyniad perthynol i'r teuluoedd o ba rai yr arferid eu gwneuthur, hwy a ordeiniasant ryw rai anenwog a distadl i'r swydd honno; fel y gallent eu cynnorthwyo yn eu hymarferiadau drygionus. Canys y rhai a feddianodd yr anrhydedd uchaf hwn, yn anhaeddianol, a orfyddai iddynt gydsynio â'r rhai a'u gosodasai yn y swydd honno. Gosodasant hefyd y gwŷr pennaf i ymrafaelio â'u gilydd, trwy ddyfais a dichellion: a chawsant gyfleustra i wneud yr hyn a ewyllysient, trwy gyd-ymrafaelion y rhai a allasent fod yn rhwystr i'w mesurau. Nes o'r diwedd, wedi digoni ar y gweithredoedd anghyfiawn a wnaethant tu ag at ddynion, y bwriasant eu hymddygiad enllibus ar Dduw ei hun, ac a ddaethant gyd â'u traed halogedig i'r cyssegr.

Yn awr yr oedd y lliaws yn myned eisoes i godi yn eu herbyn. Canys Ananus, yr hynaf o'r archoffeiriaid, a'i perswadiodd iddo. Gwr call a thra phwyllog ydoedd efe, ac ysgatfydd a achubasai y ddinas, pe gallasai ond diangc rhag dwyláw y rhai a fradwriaethent i'w erbyn. Y dynion yma a wnaethant deml Dduw yn ddiogelfa iddynt eu hunain, ac yn lle i ba un y gallent ddiangc, mewn trefn i ochel blinderau oddiwrth y bobl: y cyssegr oedd wedi dyfod yn awr yn noddfa ac yn gartrefle gorthrymder. Hwy hefyd a gymmysgent wawd-iaith â'r blinderau a barasant, yr hyn oedd fwy annioddefol na'r pethau a wnaed ganddynt: canys mewn trefn i brofi pa fath syndod a fyddai'r bobl tano, a pha mor bell y cyrhaeddai eu hawdurdod eu hunain, cymmerasant arnynt drefnu'r archoffeiriadaeth trwy fwrw coelbren am dani: pan ddylasai, fel y sylwiasom eisoes, ddisgyn yn olynol i rai o'r un teulu. Yr esgus a wnaethant am y cyfnewidiad rhyfygus hwn oedd arferiad hynafiaethol; pan ddywedasant ei bod † gynt yn cael ei phenderfynu trwy goelbren: Ond mewn gwirionedd nid oedd hyn well na throseddiad cyfraith ddiymwâd; a dyfais ddichellgar i gael meddiant o'r llywodraeth, a darddodd oddiwrth rai a ryfygent appwyntio llywodraethwyr fel y gwelent yn dda eu hunain.

Ar hyn hwy a ddanfonasant am un o'r llwythau archoffeiriadol, a elwid ‡ Eniacim, ac a fwriasant goelbrennau, i wybod pwy o honynt oedd i fod yn archoffeiriaid. Wrth ffortun, y coelbren a ddisgynodd yn y fath fodd ag i amlygu eu hynfydrwydd a'u hannuwiaeth yn y gradd mwyaf: canys fe ddaeth i ran un a elwid Phannias, mab Samuel, o'r faes-dref a elwid Aphtha. Yr ydoedd efe yn ddyn nid annheilwng yn unig o'r archoffeiriadaeth, ond yn un na wyddai yn dda pa beth oedd yr archoffeiriadaeth, gan mor wledig a diddysg ydoedd. Etto dygasant y dyn hwn, heb ei gydsyniad, o'r wlad, mewn modd cellwerus, fel pe buasai i gyflawni camp mewn chwareufa, gan ei addurno â gwedd-wyneb ffugiol. Dodasant hefyd am dano y gwisgoedd cyssegredig; ac ar bob achos a'i hyfforddiasant yn y peth ag ydoedd i'w wneuthur. Y darn dychrynllyd hwn o annuwioldeb oedd yn ddifyrwch ac yn wledd iddynt hwy. Ond a fu'n achos i'r offeiriaid eraill, y rhai o bell, a ganfyddent eu cyfraith yn cael ei hammherchi, i dywallt dagrau; ac i drist-alaru am ddiddymiad y fath gyssegredig uchafiaeth.

Yn awr ni allai'r bobl ddim yn hwy oddef y mynediad hwn ym mlaen; ond a gyd-redasant i ddadymchwel yr ormes hynny. Ac yn wir Gorion, mab Josephus, a Symeon § mab Gama-

* Yma y gallwn ganfod hollol ddirmygiad a distryw yr archoffeiriadaeth yn mysg yr Iuddewon: pan ddyrchefid rhai gwael, anghymmwys, a drygionus i'r swydd gyssegredig gan derfysgwyr gwrthryfelgar. Pa ryw archoffeiriaid, fel y sylwia Josephus yma, oeddynt yn rhwymedig i gydsynio â'r rhai a'u dyrchafai, a'u cynnorthwyo yn eu hannuwiol ymarferiadau. Enwau yr archoffeiriaid hyn, neu yn hytrach ddynion distyrllyd a halogedig, oedd Jesus mab Damascus; Jesus, mab Gamaliel; Matthias, mab Theophilus; a'r un anferth o'r anwybodus hwnnw Phannias, mab Samuel: y cwbl o ba rai a gyfarfyddwn â hwynt yn yr hanes ganlynol am y rhyfel. Ac nid ydym yn cyfarfod â neb rhai eraill a honant eu hunain yn archoffeiriaid ar ol Phannias, nes cymmeryd Jerusalem a'i difetha.

† Numeri xvii.

‡ Y llwyth neu'r dilyniad hwn o arch-offeiriaid neu offeiriaid, a elwir yma Eniacim, a ymddengys i'r dysgedig Mr. Lowth, un cyfarwydd yn Josephus, eu bod yr un a'r rhai hynny yn 1 Cron. xxix. 12, o radd Jacim, yr hyn a geir mewn amryw gopiau. A meddyliaf nad yw hwn mewn un modd yn ddychymmyg annhebygol.

§ Y Symeon hwn, mab Gamaliel, a grybwyllir fel yn llywydd y Sanhedrim Iuddewig, ac un a ddifethwyd yn ninystr Jerusalem, gan y Rabbiniaid Iuddewig, fel y sylwia Reland ar y lle hwn. Dywed ef i ni hefyd, fod y Rabbiniaid hyn yn crybwyll am un Jesus, mab Gamala, a fuasai unwaith yn archoffeiriad; ond yn hir o amser cyn dinystr Jerusalem. Felly os yr un person oedd efe â'r Jesus hwn, mab Gamala, yn

liel, oedd y rhai a'u hannogasant, wrth gerdded i fynu ac i wared pan ymgasglent yn dorfeydd ynghyd, ac y cyfarfyddent â hwynt o'r neilldu, i beidio goddef yn hwy; ond i osod cospedigaeth ar y rhai hynny ag oedd yn flinder ac yn bla i'w rhyddid; ac i buro'r deml o'r halogwyr hyn. Y rhai a gyfrifid oreu hefyd o'r archoffeiriaid, Jesus, mab Gamala; ac Ananus mab Ananus, pan ddeuent i'r dyrfa, a waradwyddasant y bobl yn chwerw am eu syrthni, ac a'u cynnyrfasant yn erbyn y brwdfrydwyr ymbleidgar; canys dyna'r enw yr oeddynt yn myned wrtho; fel pe buasent yn wresog mewn peth daionus; ac nid yn frwd yn hytrach yn y gwaethaf o weithredoedd, ac yn rhagori ynddynt tu hwnt i bob siamplau mewn eraill.

Yn awr wedi i'r lliaws ddyfod ynghyd yn dyrfa, a phob un mewn digter tu ag at y rhai á oresgynasent y cyssegr, ac o herwydd eu hyspail a'u llofruddiaeth; ond a oeddynt etto heb ddechrau ymosod arnynt: (y rheswm o'r hyn ydoedd, am eu bod yn ei ddychymmygu yn beth anhawdd darostwng y brwdfrydwyr hyn, fel yr oedd y peth yn wir:) Ananus a safodd i fynu yn eu canol; a chan godi ei olygon yn fynych tu a'r deml, efe a ddywedodd, "Sicr yw y buasai dda fy mod i wedi marw cyn gweled o honof dŷ Dduw yn llawn o bob rhyw ffieidddra; a'r lleoedd cyssegredig hyn, y rhai ni ddylid eu sathru yn gyffredin, wedi eu halogi â thraed y dihirwyr gwaedlyd hyn. Etto myfi, yr hwn a ddilladir â gwisgoedd yr archoffeiriadaeth, ac a elwir wrth yr enw parchus o archoffeiriad, ydwyf wedi'r cwbl yn fyw, ac yn rhy hoff gennyf fywyd; ac heb allu goddef myned tan farwolaeth; yr hyn a fyddai ogoniant fy henaint. A phe myfi a fyddai'r unig berson â pherthynas i'r achos, a'm trigfa megis mewn diffeithwch, rhoddaswn yn ewyllysgar i fynu fy mywyd, a hynny yn unig er mwyn Duw

Canys pa ddefnydd ydyw i fyw ym mysg dynion heb deimlad o'u trallodion, nac iawn olwg ar ymwared rhag y trueni y maent ynddo. Canys pan oddiweddir chwi, yr ydych yn ei gymmeryd ganddynt; a phan i'ch ammherchir, chwi a ddistewch wrthynt: a phan y mae pobl yn cael eu llofruddio, ni feiddia neb gymmaint ag anfon allan ochenaid yn gyhoeddus. O! y fath orthrymder chwerw yr ydym ni tano. Ond pa ham yr achwynaf ar y gorthrymwyr? Onid chwychwi, trwy eich goddefiad o honynt, a'u meithrinodd hwynt? Onid chwi a edrychodd heibio i'r rhai a ymgasglodd gyntaf ynghyd, canys nid oeddynt y pryd hynny ond ychydig, a thrwy eich distawrwydd a barasoch iddynt dyfu yn llawer. Ac wrth gyd-ddwyn â'u rhyfyg yn cymmeryd i fynu arfau, a hynny mewn effaith a'u harfogodd yn eich erbyn eich hunain. Dylasech y pryd hynny ragflaenu eu hanturiaethau, pan ddechreuasant waradwyddo eich perthynas. Ond wrth esgeuluso y gofal hwnnw yn amserol, chwi a annogasoch y dihirwyr hyn i anrheithio dynion. Pan yspeiliwyd anneddau, ni ddywedodd neb air; yr hyn a fu'r achos o ddwyn o honynt ymaith y rhai a feddiannent y tai hynny: a phan lusgid hwynt trwy ganol y ddinas ni ddaeth neb yn gynnorthwy iddynt. Aethant ar ol hynny ym mlaen i roddi y rhai a draddodasoch chwi iddynt mewn rhwymau. Nid wyf yn dywedyd pa gynnifer, na pha fath rai oedd y dynion a wnaethant felly â hwynt: ond yn sicr yr oeddynt yn rhai a'r na chyhuddwyd ac na euog-farnwyd gan neb. A chan na chawsant gymmorth gan neb pan oeddynt mewn rhwymau; y canlyniad ydoedd ddarfod i chwi weled yr un personau yn cael eu lladd. Gwelsom hyn hefyd, fel yr arweiniwyd y goreuon o greaduriaid byw, megis pe byddai i'w haberthu, pryd na ddywedai neb etto un gair, na symmud llaw er eu hamddiffyn hwynt. A oddefwch chwi hyn o hyd? A ellwch ddioddef gweled eich cyssegr yn cael ei fathru tan draed? Ac a osodwch chwi risiau i'r dihirwyr hyn, ar hyd pa rai y gallant esgyn i ruddhau uwch o drahausdra? Ac oni thynnwch hwynt i lawr o'u hymddyrchafiad. Canys cyn y pryd hyn hwy a aethent ym mlaen i gyflawni anferthach gweithredoedd, pe gallasent ddadymchwel rhyw beth mwy na'r cyssegr. Hwy a oresgynasant y lle cadarnaf yn yr holl ddinas: gellwch ei alw yn deml os mynnwch chwi; er tebygu o hono i dŵr neu wersyllfa. Yn awr, pan y mae gennych orthrymder mewn gradd mor fawr wedi ei furio i fynu, ac a welwch eich gelynion uwch eich pennau, pa bwrpas yw i ymgynghori? A

Josephus, rhaid oedd ei fod wedi cyrraedd i oedran mawr; os amgen amseryddion anghywir oeddynt hwy.

pheth sydd gennych i gynnal eich meddyliau i fynu ag ef: Ysgatfydd eich bod yn disgwyl y Rhufeiniaid, fel yr ymddiffynent hwy eich lleoedd cyssegredig. A ydyw ein matterion wedi eu dwyn i'r amgylchiad hwnnw? Ac a ddygwyd ni i'r gradd hwnnw o drueni, fel y disgwyliwn i'n gelynion eu hunain dosturio wrthym? O drueiniaid! oni chyfodwch i fynu, a throi ar y rhai sydd yn eich taro chwi? Yr hyn a ellwch sylwi arno mewn bwystfilod gwylltion, y rhai a ddialant eu hunain ar y neb a'u tarawodd hwynt. Oni elwch i'ch cof bob un o honoch y blinderau a ddioddefasoch eich hunain? Na gosod o flaen eich llygaid y cyfyngderau yr aethoch trwyddynt? Ac oni fydd i'r fath bethau gynhyrfu eich eneidiau i ymddial? A ydyw'r dymuniad anrhydeddus, a mwyaf naturiol i'n tymmer ni, wedi ei golli yn lân, fy meddwl yw y dymuniad o ryddid. Gwir yw ein bod mewn cariad â chaethiwed; ac â'r rhai a arglwyddiaethant arnom; fel pe byddem wedi derbyn yr egwyddor honno o ymostyngiad oddiwrth ein hynafiaid. Etto bu iddynt hwy fyned tan amryw a maith ryfeloedd er mwyn rhyddid. Ac ni orchfygwyd hwy mor bell gan rym yr Aiphtiaid, neu'r Mediaid, na wnaethant er hynny yr hyn a dybient yn gymmwys, er gorchymmyn o honynt hwy i'r gwrthwyneb. A pha achos sydd yn awr am ryfel â'r Rhufeiniaid? (Ni chyffyrddaf â phenderfynu pa un a ydyw yn rhyfel manteisiol ac ynnillgar neu beidio. Pa esgusodion sydd am dano? Onid yw i'r diben i ni fwynhau rhyddid? Heblaw hyn, oni oddefwn arglwyddi y ddaear gyfanneddol i arglwyddiaethu arnom ni, pan ydym yn dioddef gorthrymwyr ein gwlad ein hunain. Rhaid i'm ddywedyd fod ymostyngiad i ddieithriaid yn oddefol, wedi i ffortun eisoes ein trefnu i hynny: tra mae ymostyngiad i ddynion drygionus o'n cenedl ein hun yn beth anwrol, ac a ddygir arnom trwy ein cydsyniad ein hunain. Pa fodd bynnag, gan ddarfod i mi grybwyll am y Rhufeiniaid, ni chadwaf yn guddiedig, gan ddechrau o honof lefaru, beth ag sydd yn fy nhristâu yn ddirfawr: Y peth ydyw hyn; pe digwyddai ein cymmeryd ganddynt hwy (yr hyn na atto Duw ei fod felly,) etto ni allwn fyned tan ddim ag sydd waeth na'r hyn a ddygasom eisoes arnom.

"Pa fodd gan hynny y gallwn ochelyd tywallt dagrau, pan welom anrhegion Rhufeinig yn ein teml; tra'r ydym wedi'r cwbl yn canfod rhai o'n cenedl ein hun yn yspeilio, ac yn anrheithio ein prif-ddinas glodfawr, ac yn llofruddio dynion ynddi: oddiwrth ba ryw erchyll-waith y Rhufeiniaid eu hunain a ymgadwasant. I ganfod y Rhufeiniaid hynny yn ymattal â myned tu hwnt i derfynau gosodedig i ddynion cenhedlig; nac anturio dirmygu un o'n defodau cyssegredig; ïe, ac â chanddynt arswyd ar eu meddyliau pan edrychont o hirbell ar y muriau cyssegredig hyn: tra y mae rhai a anwyd yn y wlad hon, ac a ddygwyd i fynu mewn ymarferiad o'n defodau, ac a elwid yn Iuddewon, yn rhodio o amgylch ynghanol y lleoedd cyssegredig, pan yn y cyfamser y maent yn trochi eu dwylaw y'ngwaed eu cyd-wladwyr. Heblaw hyn, a fydd neb yn ofnus o ryfel â dieithriaid, a'r cyfryw ag a fydd, mewn cydmariaeth, yn llawer mwy cymmedrol na'n pobl ein hunain. Canys yn sicr, os gallwn gydmaru ein geiriau â'r pethau y maent yn arwyddo, ysgatfydd y gall un yn ol hyn gael y Rhufeiniaid yn gynhalwyr ein cyfreithiau, a'r rhai o'n plith ein hunain yn ddadymchwelwyr o honynt. Ac yn awr fe'm perswadir fod pob un o honoch yma yn cael boddlonrwydd, cyn i mi ei ddywedyd, fod y dadymchwelwyr hyn o'n rhyddid yn haeddu eu difetha; ac na all neb ddyfeisio y fath gospedigaeth a'r nad yw yr hyn a wnaethant hwy yn ei haeddu; a'ch bod chwi wedi eich cythruddo yn eu herbyn ar gyfrif eu dryg-fawr weithredoedd, trwy y rhai y dioddefasoch yn ddirfawr. Ond ysgatfydd fod llawer o honoch yn ofnus wrth liosowgrwydd y brwdfrydwyr hyn, a'u haerllugrwydd, yn gystal â'r fantais sydd ganddynt arnom, trwy eu bod ar le uwch na nyni. Canys yr amgylchiadau hyn, megis y bu eich esgeulusdra eich hun yn achos o honynt, felly y denant fyth yn fwy trwy barhau i'w hesgeuluso. Canys eu lliaws a gynnyddir yn feunyddiol, trwy fod pob dyn dihir yn cilio at y rhai cyffelyb iddo ei hun. A'u rhyfyg wrth hynny sydd yn ennyn, o herwydd na chyfarfyddant â dim rhwystr i'w hamcanion. Ac am uchder eu lle, hwy a'i defnyddiant i osod peirianau arno hefyd, os caniattâwn iddynt amser i hynny. Ond byddwch sicr o hyn,

os awn i fynu i ymladd â hwynt, hwy a ddofir gan eu cydwybodau eu hunain: a'r fantais sydd ganddynt yn uchder eu sefyllfa, a gollant trwy wrthwynebiad eu rheswm. Ysgatfydd hefyd y bydd i Dduw ei hun, yr hwn a ddigiwyd ganddynt, wneuthur i'r hyn a ergydiont attom ni ddychwelyd yn eu herbyn eu hunain, ac y lleddir y drwg-ddynion hyn gan eu saethau eu hunain. Bydded i ni yn unig wneuthur ymddangosiad o'u blaen, a hwy a ddeuant i ddim. Pa fodd bynnag, y mae'n beth addas, os oes rhyw berygl yn yr antur, i roddi i lawr ein bywyd o flaen y pyrth cyssegredig hyn, a'u haberthu i fynu, os nid tros ein gwragedd a'n plant, etto tros Dduw, ac er mwyn ei gyssegr. Myfi a'ch cynnorthwyaf â'm cyngor, ac â'm dwylaw hefyd. Ac ni fydd i ddim cyfarwyddiadau o'r eiddom ni fod yn eisiau i'ch cyfnerthu, ac ni'm gwelwch yn gwneuthur arbediad ychwaith o'm corph fy hun."

Ananus trwy'r araith hon a annogodd y lliaws i fyned yn erbyn y gwrthwynebwyr, er ei fod yn gwybod pa mor anhawdd fyddai eu gwasgaru hwynt, o herwydd eu hamlder, eu hieuengctyd, a gwrolder eu hysprydoedd, ond yn bennaf am fod eu cydwybodau yn eu cyhuddo am yr hyn a wnaethant: gan na fynnent roddi i fynu; o herwydd eu bod heb gymmaint a disgwyl am faddeuant yn y diwedd o'u camweddau. Pa fodd bynnag, Ananus a ymroddodd i fyned tan pa ryw ddioddefiadau bynnag a allai ddyfod arno, yn hytrach nag edrych tros bethau pan oeddynt yn awr yn y fath gymmysgedd. Felly y lliaws a waeddasant allan arno, am eu harwain ym mlaen yn erbyn y rhai a ddescrifiasai yn ei gyngor: a phob un oedd barod o duedd-rwydd i anturio unrhyw beygl ar y cyfrif hwnnw.

Yn awr tra'r oedd Ananus yn dethol allan ei wŷr, ac yn dodi y rhai oedd addas i'w pwrpas mewn gwedd i ymladd; y brwdfrydwyr a gawsant hyspysrwydd o'r hyn yr oedd yn ei gymmeryd arno; (canys yr ydoedd yno ryw rai ag a aethant yn bwrpasol attynt hwy, ac a fynegasant yr hyn oll yr oedd y bobl yn ei wneuthur;) a hwy a gythruddwyd yn fawr o'i herwydd; a chan neidio allan o'r deml yn dyrfaoedd, ac yn bartion, ni arbedasant neb a gyfarfyddent â hwynt. Ar hyn Ananus yn ebrwydd a gynnullodd y werin ynghyd, y rhai yn wir ydoedd yn fwy lliosog na'r brwdfrydwyr; ond yn fyrrach mewn arfogaeth, o herwydd na osodasid hwynt yn rheolaidd mewn trefn i ymladd. Ond y bywiogrwydd a'r mileindra a ddangosasant a wnaeth i fynu eu diffygion ar bob ochr. Y dinasyddion wedi eu meddianu â thymmer ag oedd gryfach nag arfau, a dderbyniasant radd o gefnogrwydd oddiwrth y deml, ag oedd fwy nerthol nag un lliaws o ddynion pa bynnag. Ac yn wir y dinasyddion hyn a'i barnasant yn ammhosibl iddynt aros yno, oddi eithr iddynt allu torri ymaith yr yspeilwyr oedd o'i mewn. Yr ymrysonwyr hefyd a dybiasant mai oddieithr iddynt hwy orchfygu, nad oedd un gospedigaeth mor boenus na osodid hi arnynt. Felly eu cyd-ymdrech a lywodraethid gan eu nwydau: ac ar y cyntaf ni ddarfu iddynt ond ergydio cerrig at eu gilydd yn y ddinas, ac o flaen y deml, a bwrw gwayw-ffyn o hirbell. Ond pan ydoedd unrhyw blaid yn drech na'r llall, gwnaent ddefnydd o'u cleddyfau: a lladdfeydd mawrion a wnaethpwyd o bob tu, a nifer mawr a glwyfwyd. Am gyrph meirw y bobl, eu perthynasau a'u dygent allan i'w tai eu hunain. Ond pan glwyfid rhai o'r ymrysonwyr, efe a ai i mewn i'r deml, ac a halogai y llawr cyssegredig hwnnw â'i waed. Yn gymmaint ag y gall un ddywedyd, mai eu gwaed hwy yn unig a halogodd y cyssegr. Yn awr yn yr ymdrechiadau hyn, yr yspeilwyr yn wastadol a ruthrent allan o'r deml, ac a oeddynt ry galed i'w gelynion. Ond y werin-bobl a dyfasant yn dra digllon, ac a ddaethant yn fwyfwy o amldra, ac a waradwyddasant y rhai a gilient yn ol; a'r rhai olaf ni roddent le i'r rhai a fynnent ffoi ymaith, ond a'u gyrrasant ym mlaen drachefn: nes o'r diwedd iddynt wneuthur i'w holl wŷr i droi yn erbyn eu gelynion, fel na allai'r yspeilwyr eu gwrthwynebu yn hwy, ond a yrwyd yn raddol i gilio yn eu hol i'r deml. Pan y darfu i* Ananus a'i blaid yr un pryd syrthio i mewn iddi gyd â hwynt. Hyn a ddychrynodd yr yspeil-

* Mae'n werth nodi yma na ddarfu i'r Ananus hwn, y goreu o'r Iuddewon yr amser presennol, a'r archoffeiriad ag ydoedd mor anesmwyth ar gyfrif halogiad cynteddau Iuddewig y deml gan yr yspeilwyr, pa fodd bynnag, ddim petruso halogi cyntedd y cenhedloedd; megis ag yn nyddiau ein Hiachawdwr yr oedd yn cael ei halogi yn fawr gan yr Iuddewon, a'i wneud yn farchnadfa, ie yn ogof lladron heb ruso; Math. xxi. 12, 13. Marc xi. 15, 16, 17. Yn ganlynol mae Josephus ei hun, wrth lefaru am y ddau gyntedd nesaf i mewn, yn eu galw hwynt y lleoedd sanctaidd: ond, cyn belled ag yr wyf yn cofio, nid yw yn enwi un amser gyntedd y cenhedloedd yn y dull hwnnw. Gwel V. 2.

wŷr yn echryslon, o herwydd ddarfod eu hymddifadu o'r cyntedd † nesaf allan: felly hwy yn ddioed a ffoesant i'r ‡ cyntedd nesaf i mewn, ac a gauasant y pyrth. Yn awr ni thybiodd Ananus yn gymmwys wneuthur ymosodiad yn erbyn y pyrth cyssegredig; er i'r lleill ergydio cerrig a phiccellau arnynt hwy oddi uchod. Efe hefyd a gyfrifodd yn anghyfreithlon i arwain y lliaws i'r cyntedd hwnnw cyn eu puro hwynt. Gan hynny fe ddewisodd allan o honynt oll trwy goelbren, chwe mil o wŷr arfog, ac a'u gosododd fel gwarchawdlu yn y 'stefylldai. Felly yr oedd y gwylwyr hyn yn cyfnewid eu gilydd y naill dro ar ol y llall; a phob rhai oedd rwymedig i atteb yn eu cylch. Yn y cyfamser, amryw o bennaethiaid y ddinas a ollyngwyd ymaith, gan y rhai a gymmerasent arnynt y llywodraeth y pryd hynny, ar eu gwaith yn cyflogi rhai o'r radd dlottaf, a'u danfon i warchod neu wylio yn eu lle.

Yn awr Ioan yr hwn a ddiangasai o Gischala, ydoedd yr achos o ddarfod i'r holl bobl yn awr gael eu difetha. Yr oedd efe yn un o ddichellion mawr, ac yn cynnwys o'i amgylch yn ei feddwl duedd mawr i orthrymder; ac o bell efe ydoedd annogwr y gweithrediadau hyn. Ac yn wir ar yr amser hwn fe gymmerodd arno fod o'r un feddyliau â'r bobl; ac a aeth o amgylch pob lle gyd ag Ananus, a phennaethiaid y bobl. Etto ei ymddygiad anarferol hwn a droes yn ei erbyn: canys ei weniaeth wrthynt ydoedd mor anghymmesur, fel na wnaent ond ei ddrwg-dybio yn fwy; a'i ddyfodiad gwastadol i bob lle, ïe pan na wahoddid ef i fod yn breseunol, a barodd ddrwg-dybiau cadarn am dano ei fod am fradychu ac amlygu eu dirgelion i'r gelyn: canys hwy a ganfuant yn eglur eu bod yn deall eu holl benderfyniad i'w herbyn yn eu cyd-ymgynghorion. Ac nid oedd neb â chanddynt fwy o reswm i'w ammeu fel datguddiwr o honynt a'r Ioan hwn. Etto nid hawdd oedd cael ymadawiad ag ef; mor awdurdodol yr oedd efe wedi dyfod trwy ei weithrediadau annuwiol. Efe a gefnogid hefyd gan lawer o'r gwŷr enwog, y rhai oeddid i ymgynghori â hwynt ar achosion pwysig. Fe dybiwyd yn rhesymmol, gan hynny, ei rwymo i roddi sicrwydd iddynt o'i ewyllys da trwy lw. Yn ganlynol Ioan gyd â pharodrwydd a gymmerodd y fath lw, y byddai efe o du'r bobl; ac na fradychai un o'u cynghorion na'u cyflawniadau i'r gelynion; ac y byddai yn gynnorthwyol iddynt yn nadymchweliad y rhai a'u gwrthwynebai, a hynny â'i gyngor ac â'i ddwylaw. Felly Ananus a'i blaid a roesant grediniaeth i'w lw, ac a wnaethant dderbyniad o hono yn awr i'w hymgynghorion heb amheuaeth ymhellach. Ië, hwy a hyderasant arno mor bell ag y danfonasant ef yn genhadwr trostynt i'r deml at y brwdfrydwyr, gyd â chynnyg o ymheddychiad. Canys yr oeddynt yn ewyllysio yn fawr gochel halogi'r deml, mor bell ag y medrent, ac na byddai i neb o'u cenedl gael eu lladd yno.

Ond yn awr yr Ioan hwn, fel pe gwnaethai ei lw i'r yspeilwyr, a chadarnhau ei ewyllys da iddynt hwy ac nid i'w herbyn, a aeth i mewn i'r deml, ac a safodd i fynu yn eu canol, ac a lefarodd fel y canlyn: Ddarfod iddo anturio i lawer o beryglon ar eu cyfrif hwynt, ac mewn trefn i adael iddynt wybod am bob peth a ddyfeisid yn ddirgel gan Ananus, a'i blaid ef. Ond y byddai iddo ef a hwythau gael eu taflu i berygl mwyaf oddi eithr i ryw gymmorth rhagluniaethol gael ei estyn iddynt. Oblegid nad oedd Ananus am wneuthur dim oed ymhellach; ond ddarfod iddo gael cydsyniad y bobl i ddanfon cenhadwyr at Vespasian, i'w gymmell i ddyfod yn ddioed i gymmeryd y ddinas. A'i fod wedi appwyntio ympryd y dydd nesaf yn eu herbyn, fel y caniatteid iddynt ddyfodiad i mewn i'r deml ar achos crefyddol; neu ei hynnill trwy drais ac ymladdiad â hwynt yno. Na fedrai efe weled pa fodd y gallent oddef cynllwyn neu warchae; na pha fodd y gallent ymladd yn erbyn cynnifer o elynion. Chwanegodd ymhellach, mai trwy ragluniaeth Duw yr anfonasid ef fel cenhadwr attynt, ynghylch ammodau o ymheddychiad. O herwydd fod Ananus yn cynnyg y fath ammodau iddynt, fel y gallai ddyfod ar eu gwarthaf pan fyddent yn anarfog. Y dylent gan hynny ddewis un o'r trefniadau canlynol; sef un ai eiriol ar y rhai oedd yn eu gwylio am achub eu bywydau; neu ddanfon am gymmorth at ddieithriaid i ddiogelu eu hunain. Mai os byddai i rai borthi eu hunain â gobaith o bardwn neu faddeuant,

† Cyntedd y Cenhedloedd. ‡ Cyntedd Israel.

os digwyddid eu darostwng hwynt; hwy a anghofiasant pa bethau erchyll a wnaethant hwy; neu a allent ddychymmygu, mai cyn gynted ag y byddai i gyflawnwyr y diweddar weithredoedd edifarhau, fod yn rhaid i'r rhai a ddioddefasant trwyddynt gymmodi â hwynt yn ddioed: pan y mae y rhai a wnaethant y niweid, er cymmeryd arnynt ymddangos yn edifeiriol o'i herwydd, yn cael yn fynych eu casâu am y fath hynny o edifeirwch. A bod y dioddefwyr, pan gaffont yr awdurdod i'w dwylaw eu hunain, yn arferol o fod yn llymach tu ag at y niweidwyr: y byddai i gyfeillion a charenydd y rhai a ddifethwyd lunio yn wastadol ryw fradwriaethau yn eu herbyn: a bod corph mawr o bobl yn dra digllon o herwydd y troseddiad gwaradwyddus o'u cyfreithiau, a llysoedd anghyfreithlon. Yn gymmaint ag er i rai dosturio tu ag attynt, hwy a orthrechid gan y blaid fwyaf.

## PENNOD IV.

*Am ymdrech yr Idumeaid i gynnorthwyo'r ymbleidwyr yn Jerusalem; eu gyrru allan o Jerusalem; araith Jesus, un o'r archoffeiriaid, ac attebiad Simon.*

TRWY'r ymadroddion hyn, Ioan a barodd arswyd i'r brwdfrydwyr. Etto ni feiddiai yn uniongyrch grybwyll pa gynnorthwy gan ddieithriaid yr oedd yn ei feddwl; eithr mewn ffordd orchuddiol yn unig efe a olygodd yr Idumeaid. Ond yn awr, fel y byddai iddo yn enwedig gythruddo blaenoriaid yr ymrysonwyr, efe a gyhuddodd Ananus, ei fod yn darlunio math o farbariaeth, ac mewn modd neillduol yn eu bwgwth hwynt. Y blaenoriaid neu'r arweinwyr hyn oedd Eleazar, mab Simon, yr hwn a ymddangosodd yn wr callaf o honynt oll i ystyried yr hyn oedd gymmhwysaf ei wneuthur, ac i gyflawni y peth a fwriadasai; a Zacharias, mab Phalec; pa rai oedd â tharddiad eu teuluoedd oddiwrth yr offeiriaid. Yn awr, wedi i'r ddeu-ddyn yma wrando'r bygythiad cyffredin oedd yn eu herbyn oll; ac yn enwedig y rhai a gyfeirid yn eu herbyn eu hunain; ac heblaw hyn y modd yr oedd Ananus a'i blaid, mewn trefn i ddiogelu ei arglwyddiaeth ei hun, wedi gwahodd y Rhufeiniaid i ddyfod attynt: (canys hyn hefyd oedd ran o gau-chwedlau Ioan;) hwy a amheuasant tros hir ennyd pa beth i'w wneuthur, wrth ystyried byrdra'r amser trwy'r hwn y cyfyngid arnynt; o herwydd fod y bobl yn parottoi i'w goddiweddu ar fyrder: ac oblegid fod y brad a luniasid mor ddisymmwth yn eu herbyn yn torri ymaith eu gobaith am gynnorthwy pellennig: canys hwy a allent fod tan y blinderau mwyaf, cyn i neb o'u cyngreirwyr gael eu gwneud yn hyspys. Pa fodd bynnag fe benderfynwyd galw i mewn attynt yr Idumeaid. Felly hwy a 'sgrifenasant lythyr byr attynt i'r pwrpas canlynol: "Ananus a wnaethai dwyll â'r bobl, ac ydoedd yn bradychu eu prif-ddinas i'r Rhufeiniaid. Eu bod hwy eu hunain wedi troi oddiwrth eraill, a'u caead i fynu yn y deml, ar gyfrif eu hymdrech i amddiffyn eu rhyddid: mai bychan oedd eu hamser ym mha un y gallent ddisgwyl am waredigaeth. Ac oddieithr iddynt ddyfod yn uniongyrch yn gynnorthwy iddynt, y byddent eu hunain yn fuan tan awdurdod Ananus, a'r ddinas ym meddiant y Rhufeiniaid." Parasant hefyd i'r negeseuwyr grybwyll llawer o amgylchiadau eraill wrth yr Idumeaid. Yn awr yr oedd deu-ddyn astud, pa rai a olygwyd yn gymmwys i ddwyn yno y neges hwn, y cyfryw ag a fedrai ymddiddan yn dda, a'u perswadio i gredu fod pethau yn yr amgylchiad hwn; a'r hyn oedd fwy angenrheidiol na'r cyntaf, yr oeddynt yn deithwyr cyflym. Canys gwybuant yn dda y cydsyniai y rhai hyn yn ebrwydd â'u dymuniadau, megis yr oeddynt bob amser yn genedl afreolus a therfysglyd; bob amser yn gwylied am ryw gynnwrf; yn ymblesern mewn cyfnewidiau, ac yngwenieithiad gan eraill er mor lleied a fyddo, ynghyd a'u hymbiliau â hwynt; wrth yr hyn y cymmerent eu harfau yn ebrwydd, ac a frysient i frwydr, megis pe byddai i wledd. Yr ydoedd achos yn wir am y fath frys a chyflymdra y'nbraddodiad y llythyr hwn; ym mha ystyr nid oedd y negeseuwyr mewn un ffordd yn ddiffygiol. Enwau pob un o honynt ydoedd Ananias: a hwy a ddaethant ar frys at bennaethiaid yr Idumeaid.

Yn awr y llywodraethwyr hyn oeddynt yn rhyfeddu yn fawr wrth gynhwysiad y llythyrau, ac wrth yr hyn a adroddodd y rhai a'u dygent ymhellach mewn perthynas i'r Iuddewon. Ar hynny hwy a redasant fel rhai wedi gwallgofi

trwy'r wlad; gan wneuthur cyhoeddiad ar fod i'r bobl ddyfod ynghyd i ryfel. Felly lliaws ar fyrder a gafwyd ynghyd, yn gynt yn wir na'r amser a bennodwyd yn y cyhoeddiad: a phawb a gymmerasant i fynu eu harfau, mewn trefn i amddiffyn rhyddid prif-ddinas Jerusalem. Ac ugain mil o honynt a ddodwyd mewn trefn i ymladd, ac a ddaethant i Jerusalem, tan bedwar o flaenoriaid; John a Jacob meibion Sosas; Simon, mab Cathlas; a Phineas, mab Clusothus.

Yn awr mynediad y negeseuwyr hyn at yr Idumeaid oedd yn anadnabyddus i Ananus a gwyliedyddion y ddinas; ond eu dynesiad attynt a wnaethpwyd yn hyspys. Canys fel y gwybu am danynt cyn eu dyfodiad, fe archodd i'r pyrth gael eu cau i fynu, a'r muriau gael eu gwylied: etto ni feddyliodd efe mewn un modd am ymladd yn eu herbyn; ond i brofi, cyn dyfod i ergydiau, pa beth a wnai perswadiad. Yn ganlynol Jesus, yr hynaf o'r archoffeiriaid, a'r nesaf at Ananus, a safodd ar y tŵr, ac a lefarodd y modd hwn, "Llawer o flinderau yn wir, a'r rhai hynny o amryw fath, a oddiweddodd y ddinas hon: etto ni ryfeddais fwy wrth un o honynt na'r pethau a ddigwyddodd yn awr iddi; pan ydych chwi wedi dyfod yn gynnorthwywyr i'r drwg-ddynion hyn; a hynny mewn modd tra anarferol. Canys yr wyf yn deall ddyfod o honoch i gynnorthwyo y gwaethaf o ddynion; yn ein herbyn, a hyn gyd â'r fath gyflymdra, na ddangosech ysgatfydd ei gyffelyb, pe galwasid am danoch i'w cynnorthwyo yn erbyn barbariaid. A phe canfuaswn bod eich byddin chwi yn gynnwysedig o ddynion cyffelyb i'r rhai a'ch gwahoddodd, ni chyfrifaswn eich anturiaeth mor afresymmol. Canys nid oes dim yn clymmu meddyliau dynion ynghyd yn fwy na'r cyngrair a fyddo rhyngddynt, a chyffelybrwydd eu hymarferiadau. Ond yn awr am y dynion hyn a'ch gwahoddodd chwi, pe holech hwynt bob yn un ac un, chwi ganfyddech fod pob rhai o honynt yn haeddianol o ddeng mil o farwolaethau. Canys y dihirwyr hyn, y rhai ydynt sorod a sothach yr holl wlad, ac a dreuliasant eu meddianau mewn aflendid, ac mewn ffordd o brofiad ym mlaen llaw, a anrheithiasant y pentrefi a'r dinasoedd cymmydogaethol; yn niwedd y cwbl, hwy a ddirgel-redasant ynghyd i'r ddinas sanctaidd hon. Hwynt hwy ydynt yspeilwyr, y rhai trwy eu hanferth ddrygioni, a halogasant y llawr cyssegredig hwn; a'r rhai sydd i'w gweled yn awr yn meddwi eu hunain yn y cyssegr; ac yn gwario eiddo y rhai a laddasant ynghyflawniad eu chwantau anghymmedrol. Am y lliaws sydd gyd â chwi, fe'u canfyddir wedi ymwisgo yn hardd â'u harfogaeth, fel y gweddai iddynt fod, pe galwasai eu mam-ddinas hwy ynghyd i'w hamddiffyn yn erbyn dieithriaid. Beth a ddichon un alw eich mynediad ym mlaen, ond cellweiriad ffortun, pan y gwelir cenedl gyfan wedi dyfod ynghyd i amddiffyn tyrfa o ddihirwyr drygionus. Bum fy hunan tros amser tan amheuaeth beth a allai eich cynhyrfu i wneuthur hyn mor fyrbwyll. Canys mae'n sicr na chymmerasech am danoch eich holl arfogaeth ar gyfrif yspeilwyr, ac yn erbyn pobl o berthynas â chwi, heb ryw achos mawr o wneuthur felly. Ond fe arwyddwyd i ni mai dyfodiad y Rhufeiniaid yw yr esgus; ac y meddylir ein bod ni yn myned i fradychu'r ddinas iddynt hwy. Canys rhai o'ch gwŷr a achwynasant yn ddiweddar ynghylch y matterion hyn; ac a ddywedasant eu bod yn dyfod i beri rhyddid yn eu prifddinas. Yn awr ni fedrwn amgen na rhyfeddu wrth y drwg-ddynion hyn, yn dyfeisio y fath anwir a hwn yn ein herbyn. Canys hwy a wyddent nad oedd un ffordd arall i gythruddo yn ein herbyn wŷr ag oedd o naturiaeth yn ewyllysio rhyddid; ac oblegid hynny yn rhai o'r tuedd goreu i ymladd yn erbyn gelynion tramor, ond trwy lunio gau-chwedl ein bod ni yn myned i fradychu yr hyn sydd fwyaf dymunol o bob peth, sef rhyddid. Ond chwi ddylech ystyried pa fath ddynion ydynt hwy a godasant yr enllib hwn; ac yn erbyn pa fath bobl y codwyd yr enllib hwnnw: ac i gasglu'r gwir am bethau, nid oddiwrth chwedlau-gau, ond oddiwrth gyflawniadau pob plaid. Canys pa achos sydd i ni i werthu ein hunain i'r Rhufeiniaid, pan oedd yn ein gallu beidio a throi oddiwrthynt ar y cyntaf: neu yn ol unwaith ymwrthod â hwynt i ddychwelyd tan eu harglwyddiaeth drachefn: a hynny pan oedd y lleoedd cymydogaethol etto heb eu hanrheithio? Pan nad yw yn awr yn beth hawdd cymmodi â'r Rhufeiniaid, pe byddem yn ei ewyllysio, wedi iddynt ddaros-

twng Galilea, ac ydynt trwy hynny wedi tyfu yn feilchion ac yn drahaus. Ac i ymdrechu gwneuthur boddlonrwydd iddynt hwy ar amser ag y maent mor agos attom, a ddygai y fath waradwydd arnom ag a fyddai gwaeth nag angau ei hun. Am danaf fy hun yn wir, buaswn yn hytrach yn dewis fod mewn heddwch â hwynt na chael fy lladd: ond yn awr wedi unwaith wneuthur rhyfel â hwynt, ac ymladd amryw frwydrau, yr wyf yn dewis marw mewn ffordd anrhydeddus, o flaen byw mewn caethiwed tanynt hwy. Ond ymhellach, pa un bynnag a haerant hwy ein bod ni, y rhai ydym lywodraethwyr y bobl, wedi danfon felly yn ddirgel at y Rhufeiniaid; neu a wnaethpwyd hynny trwy gyffredin gydsyniad y bobl? Os nyni wrthym ein hunain a'i gwnaeth, enwant rai o'n cyfeillion hynny a ddanfonwyd fel cenhadwyr i gadarnhau y fradwriaeth hon. A ddaliwyd rhyw un ar ei fynediad ymaith â'r gennadwri yma, neu a oddiweddwyd ef ar ei ddychweliad? A ydynt hwy mewn meddiant o'n llythyrau ni? Pa fodd y gallem ni guddio ein hunain oddiwrth y fath anferth nifer o'n cyd-ddinasyddion, y'mhlith pa rai yr ydym bob awr yn ymddiddan; tra'r ymddengys fod yr hyn a wneir yn y wlad yn adnabyddus i'r terfysgwyr; y rhai nid y'nt ond ychydig nifer, a than wyliadwriaeth hefyd; ac heb allu dyfod allan o'r deml i'r ddinas. Ai dyma'r pryd cyntaf y maent wedi dyfod yn deimladwy o'r modd y dylent gael eu eospi am eu trahaus weithrediadau? Canys pan oedd y dynion hyn yn rhydd oddiwrth yr ofnau y maent yn awr tanynt, ni chyfodai ynddynt ddim drwgdybiau am danom ni fel teyrnfradwyr. Ond os gosodant y cyhuddiad hwn yn erbyn y bobl, rhaid oedd gwneuthur hyn trwy gyngor cyhoeddus, fel nad allai un o'r bobl wahaniaethu oddiwrth eraill o'r dyrfa. Ym mha ryw amgylchiad y sôn cyhoeddus am y mater hwn a ddaethai attoch yn llawer cynt nac un arwydd neillduol arall. Ond pa fodd y gallai hynny fod? Onid rhaid i genhadwyr gan hynny gael eu danfon i gadarnhau cyttundeb? A dywedant hwy i ni pwy ydoedd y cenhadwr hwn, a ordeiniasid i'r diben hwnnw. Ond nid yw hyn ddim amgen nag esgus y cyfryw ddynion ag sydd yn casháu marw, ag sy'n ymdrechu i ddiangc rhag y cospedigaethau sydd ynghrôg uwch eu pennau. Ond pe buasai tynghedfen wedi penderfynu i'r ddinas hon gael ei bradychu i ddwylaw gelynion, neb arall yn amgen na'r dynion hyn a'n cam-gyhuddasant ni fuasai ganddynt y digywilydd-dra i'w wneuthur: gan nad oedd dim drygioni yn eisiau i gyflawni eu hymarferion digywilydd, ond hyn yn unig, i ddyfod o honynt yn deyrn-fradwyr. Ac yn awr chwychwi Idumeaid, wedi dyfod o honoch yma eisoes gyd â'ch arfau, eich dyledswydd yn y lle cyntaf ydyw i fod yn gynnorthwyol i'ch prif-ddinas, ac i uno gyd â ni i dorri ymaith y gorthrymwyr a dorrsant reolau ein brawdleoedd; a sathrasant ein cyfreithiau, ac a wnaethant eu cleddyfau yn benderfynwyr cam ac uniawn: canys hwy a oddiweddasant wŷr euwog, heb ddim cyhuddiad i'w herbyn, fel yr oeddynt yn sefyll yn y farchnadfa, ac a'n poenasant trwy eu rhoddi mewn rhwymau; ac heb ddioddef i wrando'r hyn oedd ganddynt i'w ddywedyd, na pha ymbiliau a wnaent, hwy a'u lladdent. Gellwch, os gwelwch yn dda, ddyfod i'r ddinas, ond nid mewn ffordd o ryfel, a chymmeryd golwg ar weddillion ag sydd etto yn aros o'r hyn yr ydwyf yn awr yn ei ddywedyd: a gweled y tai a ddiboblogwyd gan eu dwylaw rheipus; gyd â'r gwragedd a'r teuluoedd, ag sydd mewn galar am fwrddrad eu perthynasau. Megis hefyd y gellwch glywed gruddfan ac wylofain tros yr holl ddinas; canys nid oes neb na phrofodd o ruthrad y drwgddynion halogedig hyn, y rhai a aethant yn mlaen i'r fath radd o gynddeiriogrwydd, ag nid yn unig i drosglwyddo eu hyspeiliau digywilydd o'r wlad, a dinasoedd pellennig i'r ddinas hon, wyneb a phen yr holl genedl, ond o'r ddinas i'r deml hefyd. Canys y lle hwnnw yn awr yw eu derbynfa, eu noddfa, a'r ffynnon o ba un y gwnant eu holl barottöad yn ein herbyn. A'r lle hwn, pa un a ryfeddir gan y byd cyfanneddol, ac a berchir gan y rhai na wyddant am dani ond yn unig trwy hanes, cyn belled ag eithafoedd y ddaear, a sathrir tan draed y bwystfilod gwylltion yma a anwyd yn ein plith ein hunain. Maent yn awr yn gorfoleddu yn y cyflwr dinystriol a ddygasant eu hunain eisoes iddo, pan glywant fod y naill bobl yn myned i ymladd â phobl eraill, a'r naill ddinas yn erbyn y llall: a bod eich cenedl chwi wedi

cael byddin ynghyd yn erbyn ei hymysgaroedd ei hunan. Yn lle pa ryw fynediad ym mlaen, byddai yn dra chymmwys a rhesymmol, fel y dywedais o'r blaen, i chwi uno â nyni, i dorri ymaith y dynion atgas hyn: ac yn enwedig i ddial eich hun arnynt am osod y twyll yma arnoch: fy meddwl yw am feddiannu o honynt y digywilydd-dra o'ch gwahawdd i'w cynnorthwyo hwynt, y rhai a ddylasent fod mewn ofn o honynt, megis yn barod i'w cospi hwynt. Ond os oes gennych ryw dderbyniad i wahoddiadau y dynion hyn; etto gellwch ddodi o'r neilldu eich arfau, a dyfod i'r ddinas tan enw ein carennydd ni; a chymmeryd arnoch ganol-enw rhwng yr un hynny o gynnorthwyadon a gelynion; ac felly dyfod yn farnwyr yn yr achos hwn. Pa fodd bynnag, ystyriwch pa beth a ennilla'r bobl hyn wrth ddyfod i'w barnu o'ch blaen chwi, am y fath ddrwg-weithredoedd y rhai ni's gallant eu gwadu: y rhai ni ddewisasant wrando y rhai na osodid un cyhuddiad i'w herbyn, i ddywedyd gair trostynt eu hunain. Pa fodd bynnag bydded iddynt gael yr ynnill hwn trwy eich dyfodiad. Ac etto os na chymmerwch ddim rhan yn y digter sydd gennym tu ag at y dynion hyn, na barnu rhyngom ni a hwythau, y trydydd peth sydd gennym i'w osod o'ch blaen ydyw hyn, ar fod i chwi adael pob un o honom yn llonydd; ac na ymosodwch arnom ni yn ein blinderau; ac na safwch o blaid y bradwyr hyn a ymosodasant yn erbyn eu prifddinas. Ac er pe byddai gennych ammheuaeth ddarfod i rai o honom ymgyfeillachu â'r Rhufeiniaid, y mae yn eich gallu chwi wylio ar y ffyrdd sydd yn arwain i'r ddinas; ac os digwydd i ddim a ddywedasom ni gael ei ddwyn i'r goleuni, yna deuwch i amddiffyn y brif-ddinas, a gosodwch gosp ar y rhai hynny a geir yn euog. Canys ni ddichon y gelyn eich rhagflaenu chwi y rhai ydych yn awr mor agos i'r ddinas. Ond os, ar ol y cwbl, na fydd i ddim o'r cynnygiadau hyn fod yn dderbyniol ac yn gymmeradwy gennych, na fydded i chwi ryfeddu gael o honoch y pyrth yn gauedig i'ch erbyn, tra y parhaoch yn arfogion."

Fel hyn y llefarodd Jesus. Etto ni roddodd lliaws yr Idumeaid ddim gwrandawiad i'r hyn a ddywedodd, ond a oeddynt mewn cynddaredd, o herwydd na chawsant fynediad rhwydd i mewn i'r ddinas. Y cadflaenoriaid oeddynt hefyd yn ddigllon wrth y cynhygiad o osod eu harfau i lawr; ac a edrychasant arno yn gydradd â chaethiwed, i gael eu troi ymaith wrth orchymmyn un. Ond Simon, mab Cathlas, un o'u blaenoriaid, gyd â llawer o anhawsdra a lonyddodd derfysg ei wŷr ei hun, ac a safodd i fynu fel y gallai'r archoffeiriaid ei glywed ef, ac a ddywedodd, "Nis gallaf yn hwy ryfeddu fod amddiffynwyr rhyddid yn y deml tan gaethiwed; ac ar yr un pryd yn parottoi i ollwng y Rhufeiniaid i mewn iddi, tra y mae eraill ag a ganasant i fynu byrth ein * dinas gyffredin yn erbyn eu cenedl eu hunain: ac ar yr un pryd ydynt wedi ymbarottoi i ollwng y Rhufeiniaid i mewn iddi; ïe o bosibl sydd â thuedd ganddynt i goroni'r pyrth â choronbleth lysieuog ar eu dyfodiad; pan y maent yn llefaru wrth yr Idumeaid oddiar eu tŷrau, ac yn erchi iddynt daflu i lawr eu harfau a gymmerasant i fynu er amddiffyniad eu rhyddid. A phryd na ymddiriedant warchadedigaeth ein mam-ddinas i'w carennydd, proffesant eu bod yn eu gosod yn farnwyr ar yr ymraniadau sydd yn eu mysg: ïe pan y maent yn cyhuddo rhai dynion o ladd eraill heb farn gyfreithlon yn eu herbyn, y maent eu hunain yn condemnio cenedl gyfan mewn modd gwarthus. Ac yn awr hwy a fariasant i fynu y ddinas honno oddiwrth eu cenedl eu hunain, y rhai a arferent fod yn agored, ïe i ddieithriaid, pan ddeuant yno i addoli. Nyni a ddaethom yn wir gyd â brys mawr attoch, ac i ryfel yn erbyn ein cydwladwyr ein hunain. A'r rheswm paham y gwnaethom y fath frys ydyw, fel yr amddiffynom y rhyddid ag ydych chwi yn anhappus yn myned i'w fradychu. Chwi fuoch ysgatfydd yn euog o gyd-gyffelib feiau yn erbyn y rhai a gedwch megis yngharchar: a darfu i chwi, debygaf, gasglu ynghyd yr un esgusodion teg yn eu herbyn hwynt hefyd, ag a ydych yn ei ddefnyddio i'n herbyn ni. Yn ol pa ryw weithred chwi gawsoch y meistrolaeth ar y rhai sydd yn y deml; ac ydych

*Yr enwad hwn ar Jerusalem, wedi ei roddi yma gan Simon, cadflaenor yr Idumeaid, "cyffredin ddinas yr Idumeaid," y rhai oeddynt broselitiaid cyfiawnder, yn gystal a'r Iuddewon genedigol o'r dechreuad, sydd yn cadarnhau yn gryf y rheol hynny o eiddo y Rabbiniaid, wedi ei gosod i lawr yma gan Reland, nad oedd Jerusalem wedi ei threfnu neu ei happwyntio i lwyth Benjamin na Judah yn unig; ond yr oedd gan bob llwyth hawl gydraddol ynddi, wedi eu dyfod yno i addoli ar yr amryw wyliau gosodedig. Gwel ychydig o'r blaen, pen. 3.

yn eu cadw hwynt yn gaeth, pan nad ydynt ond yn unig yn gofalu am yr achosion cyhoeddus. Chwi hefyd a gauasoch byrth y ddinas yn gyffredin yn erbyn cenhedlaethau ag sydd o agosaf berthynas i chwi. A phan ydych yn rhoddi'r fath gam-orchymmyn i eraill, chwi a achwynwch ddarfod gormesu arnoch ganddynt hwy; ac a osodwch yr enw o lywodraethwyr anghyfiawn ar y cyfryw, ar y rhai a orthrymmir gennych eich hunain. Pwy a ddichon oddef eich cam-arferiad o eiriau, pan olygont anghysondeb eich gweithredoedd? Oddigerth meddwl o honoch fod yr Idumeaid hynny yn awr yn eich cau allan o'ch prif-ddinas, y rhai yr ydych chwi yn eu cau oddiwrth ddefodau cyssegredig eich gwlad eich hun. Gall un yn wir achwyn yn gyfiawn ymherthynas i'r rhai a warchaeir arnynt yn y deml; pan oedd awdurdod ddigonol ganddynt i gospi y teyrnfradwyr, y rhai a elwch chwi yn wŷr enwog, a rhyddion oddiwrth bob cyhuddiad, o herwydd eu bod yn gydgymdeithion â chwi mewn drygioni; ni ddechreuasant gyd â chwi, a thrwy hynny y torrwyd ymaith ym mlaen llaw y rhannau peryglaf o'r deyrnfradwriaeth hon. Ond os bu y gwŷr hynny yn fwy trugarog nag yr oedd yr angenrheidrwydd cyffredin yn ei ofyn, nyni y rhai ydym Idumeaid a amddiffynwn y tu hwn i Dduw, ac a ymladdwn tros ein cyffredinol wlad; ac a wrthwynebwn trwy ryfel y rhai dieithr a ymosodant arnynt oddi allan, yn gystal â'r rhai a'n bradychant oddi mewn. Yma'r arhoswn o flaen y muriau yn ein harfogaeth, un ai hyd oni thyfo y Rhufeiniaid yn flinedig o ddisgwyl wrthych, neu ddyfod o honoch chwi yn gyfeillion mewn rhyddid, ac edifarhau o honoch am yr hyn a wnaethoch i'w erbyn."

Yn awr yr Idumeaid a wnaethant floeddiadau wrth yr hyn a ddywedwyd gan Simon. Ond Jesus a aeth ymaith yn athrist: wrth weled fod yr Idumeaid yn wrthwyneb i bob cymmedrol gynghorion; ac am fod y ddinas wedi gwarchau arni o bob tu. Ac yn wir ni orphwysodd meddyliau'r Idumeaid; canys yr oeddynt mewn cynddaredd wrth y niweid a wnaethid iddynt, trwy eu cau allan o'r ddinas: a phan welsant gadernid y brwd-frydwyr, heb ddim o'u tu ei hunain i'w cynnal, yr oeddynt mewn amheuaeth ynghylch a matter hwn: a llawer o honynt a edifarhasant ddyfod yno. Ond y cywylidd a lynai wrthynt os dychwelent, heb wneuthur dim oll, mor bell a orchfygodd eu hedifeirwch, fel yr arosasant trwy yr holl nos o flaen y mur, er bod eu gwersyllfa yn dra anghysurus: canys fe dorrodd allan anferth dymmestl yn y nos, yn dra nerthol, a gwyntoedd cryfion, gyd â chawodydd trymmaf o wlaw, a mellt a tharanau dibaid, gyd ag ysgydwad a chwibaniad y ddaear. Y pethau oeddynt arwyddion amlwg o ryw ddistryw ag oedd i ddyfod ar ddynion, pan oedd y greadigaeth wedi ei gosod yn y fath gynnwrf: a'r neb a fynnai a allai ddyfalu rhyw drallodion mawr ag oedd yn agoshâu.

Yn awr tŷb yr Idumeaid a'r dinasyddion yn hyn ydoedd yr un. Yr Idumeaid a feddyliasant fod Duw yn ddig wrth eu gwaith yn myned tan arfau; ac na ddiangent rhag cospedigaeth am wneuthur rhyfel yn erbyn eu prif-ddinas: pan oedd Ananus a'i blaid yn meddwl ddarfod iddynt fuddugoliaethu; a bod Duw wedi gweithredu rhan câd-flaenor trostynt. Ond yn wir pob rhai o honynt a gam-ddychymmygasant yr hyn oedd i ddyfod: ac a barodd i'r digwyddiadau hyn fod yn arwyddion i'w gelynion, tra'r oeddynt eu hunain i fyned tan eu drwg-effeithiau. Canys yr Idumeaid a ganasant y naill am y llall, trwy gyd uno eu cyrph yn un llu, ac wrth hynny a gadwasant eu hunain yn gynnes: a thrwy gysylltu eu tariannau ynghyd uwch eu pennau, ni niweidwyd hwynt yn fawr gan y gwlawogydd. Ond y brwdfrydwyr oeddynt tan ddyfnach ofn rhag y perygl yr oedd y dynion hyn ynddo, nag oeddynt hwy am danynt eu hunain; ac a ddaethent allan i graffu o amgylch, i weled a allent mewn un modd eu cynnorthwyo hwynt. Y rhai hyfaf o honynt a feddyliasant yn oreu i wneud i'w gwylwyr gilio a'u harfau; ac wedi hynny i ruthro i ganol y ddinas; ac agor y pyrth yn gyhoeddus i'r rhai a ddaethent i'w cynnorthwyo: gan ddychymmygu y byddai 'r gwarcheidwaid tan anhwyl, ac y rhoddent le i'r fath anturiad di-ddisgwyl; yn enwedig gan fod y rhan fwyaf o honynt yn anarfog, ac yn anghyfarwydd mewn matterion rhyfel. Ac heblaw hyn lliaws y dinasyddion a fyddent anhawdd eu casglu ynghyd, wedi eu cau i fynu yn eu tai o herwydd y dymmest. Ac os oedd perygl yn

yr hyn a gymmerent arnynt, y gweddai iddynt ddioddef unrhyw beth eu hunain nac edrych heibio i'r fath dyrfa liosog ag oedd yn meirw o'u hachos hwynt. Ond y rhai mwyaf pwyllog o honynt oedd a'r ffordd hon yn aughymmeradwy ganddynt; am eu bod nid yn unig yn gweled y gwarchawdlu o'u cwmpas yn dra aml, ond bod muriau 'r ddinas eu hunain yn cael eu gwylied yn ofalus o herwydd yr Idumeaid. Meddyliasant hefyd y byddai Ananus ymbob lle, ac yn golygu y gwarcheidwaid bob awr. Yr hyn yn wir a wnaed ar nosweithiau eraill, ond a adawsid o'r neilldu y noson honno: nid o herwydd esgeulusdra Ananus, ond trwy oruwch drefniad * tynghedfen; fel wrth hynny y difethid ef, a lliaws y gwarcheidwaid ynghyd. Canys fel yr oedd y nos wedi cerdded ym mhell, a'r dymmestl yn dra dychrynllyd, Ananus a roesai gennad i'r gwarchawdlu yn y stefyll-dai fyned i gysgu. Pan y daeth i bennau y brwd-frydwŷr i wneuthur defnydd o'r llifiau oedd yn y deml, a thorri â hwynt y bolltau oedd ar y pyrth yn chwilfriw. Sŵn y gwynt a rhuad y taranau a gyd-gynnorthwyodd yno hefyd eu hamcan, fel na chlywai'r lleill sŵn y llifiau.

Felly hwy yn ddirgel a aethant allan o'r deml at fur y ddinas, gan wneud defnydd o'u llifiau, ac agoryd y porth hwnnw oedd ar gyfer yr Idumeaid. Yn awr ar y cyntaf daeth ofn ar yr Idumeaid eu hunain, yr hyn a'u terfysgodd hwynt; gan ddychymmygu fod Ananus a'i blaid yn dyfod i'w gorddiwes. Felly'r oedd pob un o honynt a'i ddeheulaw ar ei gleddyf yn barod i'w amddiffyn ei hun. Ond hwy a ddaethant yn fuan i wybod pwy oedd y rhai a ddeuai attynt, a chawsant fynediad i mewn i'r ddinas. A phe buasai'r Idumeaid y pryd hynny yn cwympo ar y ddinas, ni allasai dim fod yn rhwystr iddynt i ddifetha'r holl bobl; y fath ydoedd y cynddaredd ag oeddynt ynddo y pryd hwnnw. Ond hwy yn gyntaf oll a frysiasant i gael y brwd-frydwyr o'u carchariad, yr hyn yr oedd y rhai a'u dygasant i mewn yn eu taer gymmell i'w wneuthur, a pheidio a'u hesgeuluso hwynt, ar gyfrif pa rai y daethant, ynghanol eu cyfyngder; na'u dwyn etto fyth i fwy o berygl. Oblegid wedi iddynt unwaith oresgyn y gwarchawdlu, byddai yn dra hawdd iddynt syrthio ar y ddinas, ond os unwaith y cyffröid y ddinas, na allent ar ol hynny orchfygu y ceidwaid: o herwydd cyn gynted ag y canfyddent hwynt, byddai iddynt drefnu eu hunain i ymladd, ac a'u rhwystrent i ddyfod i'r deml.

## PENNOD V.

*Am greulondeb yr Idumeaid, a'r brwd-frydwyr; lladd Ananus, Jesus, a Zacharias. Ac enciliad canlynol yr Idumeaid.*

Y CYNGOR a foddhaodd yr Idumeaid; a hwy esgynnasant trwy'r ddinas i'r deml: yr ymbleidwyr oeddynt hefyd mewn disgwyliad mawr am danynt, ac yn dyfal wylio am eu dyfodiad. Pan oeddynt ar eu dyfodfa i mewn, hwythau hefyd a ddaethant yn hyfion allan o'r † deml bellaf; a chan gyd-gymmysgu eu hunain â'r Idumeaid, hwy a oddiweddasant y gwarchawdlu. A rhai o'r cyfryw ag oedd ar y wyliadwriaeth, ond a hepiasent, a laddasant yn eu cwsg. Ond fel y darfu i'r rhai yn awr a ddeffroisant wneuthur gwaedd, yr holl liaws a gyfododd; ac yn y cyffro'r oeddynt ynddo, hwy a ymafaelant yn eu harfau, ac a ymwnaethant i amddiffyn eu hunain. A chyhyd ag y meddyliasant mai'r brwd-frydwyr yn unig oedd yn eu gorddiwes hwynt, hwy a aethant ym mlaen yn gefnog; gan obeithio eu trechu hwynt trwy amlder eu nifer. Ond pan welsant eraill hefyd yn gwasgu ym mlaen arnynt, hwy a ganfuant fod yr Idumeaid wedi dyfod i mewn: a'r rhan fwyaf o honynt a ddodasant eu harfau o'r neilldu, ynghyd â'u cefnogrwydd, ac a ymroesant eu hunain i wylofain. Ond rhyw ychydig o'r rhai ieuangaf a orchuddiasant eu hunain â'u harfau, ac a wnaethant dderbyniad gwrol o'r Idumeaid: a thros hir amser a amddiffynasant liaws y rhai oedrannus. Eraill yn wir a roesant arwydd i'r rhai oedd yn y ddinas o'r caledi yr oeddynt ynddo. Ond yn ol gwneuthur i'r rhai hyn hefyd ddeall fod yr Idumeaid wedi dyfod i mewn, ni ddaeth neb o honynt mwyach yn gynnorthwy iddynt. Yn unig hwy a ddychwelasant yn ol yr adsain ofnadwy o wylofain a galaru oblegid eu hanffawd a'u trueni. Y gwragedd hefyd a waeddasant yn uchel; a phob un o'r

* Neu Ragluniaeth.

† Cyntedd yr Israeliaid.

gwarchawdlu oedd mewn perygl o gael eu lladd. Y brwd-frydwyr hwythau a unasant yn y floddest a wnaethpwyd gan yr Idumeaid; a'r dymmestl ei hun a barodd y cri yn fwy dychrynllyd. Ac ni arbedodd yr Idumeaid neb; canys fel y maent hwy wrth naturiaeth yn genedl farbaraidd a gwaedlyd, ac wedi eu blino yn awr gan y dymmestl; hwy a ddefnyddiasant eu harfau i ddifetha y rhai a ganasent y pyrth yn eu herbyn: ac a wnaethant yr un modd â'r rhai a erfynient am eu bywydau, ag â'r rhai a ymladdai â hwynt. Yn gymmaint ag y rhedent trwodd â'u cleddyfau, y rhai a ddymunent arnynt gofio y berthynas oedd rhyngddynt; ac a ddeisyfent iddynt berchi eu teml gyffredinol.

Yn awr nid oedd y pryd hyn na lle i ddiangc, nac un gobaith o waredigaeth: ond fel y gyrrid hwy ynghyd trwy orfod, gan nad oedd dim lle i gilio, a'r llofruddwyr ar eu gwarthaf hwynt; ac heb allu cymmeryd un ffordd arall, hwy a fwriasant eu hunain i lawr yn bendramwnwgl, tros y dibyn i'r ddinas: trwy'r hyn, yn fy nhŷb i, yr aethant tan ddinystr mwy erchyll na'r un a ochelasent; o herwydd gwneuthur o honynt hynny yn * wirfoddol. Ac yn awr y † deml nesaf allan oedd yn lliteirio gan waed. A'r dydd hwnnw, fel ag y daeth ym mlaen, a welodd wyth mil a phum cant yn gorwedd yno o gyrph meirwon.

Ond cynddaredd yr Idumeaid ni foddlonwyd ar y lladdiadau hyn: eithr yn awr hwy a aethant ym mlaen i'r ddinas; gan yspeilio pob tŷ, a lladd pawb a gyfarfyddent. Ac am y lliaws eraill, cyfrifasant yn beth afreidiol i fyned ym mlaen i'w lladd hwynt: ond hwy a chwiliasant am yr archoffeiriaid: a'r cyffredinolrwydd a aethant gyd â'r sêl fwyaf yn eu herbyn hwynt. Ac mor gynted ag y daliwyd hwynt, hwy a'u lladdasant: ac yna gan sengi ar eu cyrph meirwon mewn ffordd o wawd, edliwiasant i Ananus ei garedigrwydd i'r bobl; ac i Jesus ei araith a wnaethai wrthynt oddiar y mûr. Ië, hwy a aethant ym mlaen o'r graddau hynny o annynoliaeth, fel y bwriasant ymaith eu cyrph yn ddigladdedigaeth: er yr arferai'r Iuddewon gymmeryd gofal mor fawr am gladdiad cyrph dynion, fel y cymmerent i lawr y rhai a ddihenyddid, ac a'u dodent mewn bedd, ‡ cyn machludiad haul. Ni chamsyniwn ychwaith pe dywedwn, mai marwolaeth Ananus oedd dechreuad dinystr y ddinas: ac mai o'r dydd hwnnw yn unig y gellir pennodi dadymchweliad ei mur, a distryw ei hachosion; ym mha un y gwelsant eu harchoffeiriad, a goruchwyliwr eu cynhaliaeth yn cael ei ladd ynghanol eu dinas. Yr ydoedd efe ar gyfrifon eraill hefyd, yn ddyn parchus a thra chyfiawn: ac heblaw mawredd ardderchog, uchder, ac anrhydedd yr oedd yn ei feddiannu, yr oedd yn caru arfer math o gymwysder ac addfwynder tu ag at y gwaelaf o'r bobl. Yr oedd yn hoffi rhyddid yn fawr, ac yn dewis gwerinlywodraeth; a phob amser yn golygu y lles cyffredin yn fwy na'i hunan-fantais; ac yn ewyllysio heddwch uwchlaw pob peth: canys yr ydoedd yn cyflawn gydnabod nad oedd y Rhufeiniaid yn rhai i fuddugoliaethu arnynt. Rhagwelodd hefyd fod rhyfel o angenrheidrwydd i ddilyn: ac mai oddieithr i'r Iuddewon wneud matterion i fynu â hwynt yn dra buan, y byddai iddynt gael eu difetha. Mewn gair, pe buasai byw Ananus, hwy yn sicr a gyd-gymmodasent; canys yr oedd efe yn ŵr pwyllog a synhwyrgall i fedru llefaru wrth, ac ynnill y bobl; ac ydoedd eisoes wedi cael y meistrolaeth ar y rhai a wrthwynebent ei ymgais, ac a oeddynt am ryfel. A'r Iuddewon oedd ganddynt ddigonedd o oediad amser cyn dyfodiad y Rhufeiniaid, pe buasai ganddynt y fath flaenor ag Ananus i ddadleu eu hachosion. Jesus ydoedd hefyd yn uno ag ef: ac er ei fod, trwy gymmariaeth, islaw iddo ef, yr ydoedd yn rhagori ar rai eraill. Nis gallaf amgen na meddwl, mai o herwydd fod Duw wedi barnu y ddinas hon i'w difetha, fel dinas halogedig, ac wedi penderfynu puro ei gyssegr trwy dân, ddarfod torri ymaith yr amddiffynwyr ac ewyllyswyr da hyn: pan y darfu iddynt hwy, y rhai ychydig o'r blaen a wisgasent y gwisgoedd cyssegredig, gan flaenori yn yr achos cyffredin, ac a berchid gan breswylwyr y ddaear gyfanneddol, gael eu taflu allan yn noeth, ac a welwyd yn ymborth i gŵn a bwystfilod gwylltion. Ac ni allaf lai na dychymmygu fod rhinwedd ei hun yn gruddfan wrth ammharch y gwŷr hyn; ac yn galaru am y dull yr oedd wedi ei gorchfygu gan ddrygioni. A thyma, wedi 'r cwbl, a fu ddiwedd Ananus a Jesus.

* Gwel Llyfr III. pen. 8.

† Cyntedd y Cenhedloedd,

‡ Megis ar groeshoeliad Iesu Grist.

Yn awr wedi lladd y rhai hyn gan y brwd-frydwyr a lliaws yr Idumeaid, hwy a syrthiasant ar y bobl megis ar fintai o greaduriaid di-reswm, gan ollwng eu gwaed hwynt. Ac am y rhai o ddrych salaf, hwy a ddifethid ymha le bynnag y dèlid hwynt. Eithr am y rhai cyfrifol, ynghyd a'r ieuengctyd, hwy yn gyntaf a'u dalient ac a'u rhwyment; yna y cauent i fynu arnynt yngharchar, gan oedi eu lladd, tan obaith y deuai rai o honynt trosodd at eu plaid hwynt. Ond ni chydsyniai un o honynt â'u dymuniadau; ond pawb a ddewisent farw, yn hytrach na bod eu henwau i'w cael ym mysg y fath ddihirwyr drygionus, a rhai a weithredent yn erbyn eu gwlad eu hunain. Ond y gommeddiad hwn a barodd arteithiau ofnadwy iddynt. Canys hwy a fflangellwyd ac a boenwyd yn y fath fodd fel na allai eu cyrph gynnal tanynt, nes o'r diwedd, a chyd ag anhawstra, iddynt gael eu lladd. Y rhai a ddalient y dydd, hwy a'u lladdent y nos ganlynol, ac yna eu cyrph meirw a ddygid allan, ac a'u teflid ymaith, fel y byddai lle i garcharorion eraill. A'r dychryn ag ydoedd ar y bobl oedd mor fawr, fel nad oedd galondid gan neb i alaru yn gyhoeddus am y meirw oedd a pherthynas rhyngddynt â hwy, nac i'w claddu 'chwaith: a'r rhai a gauid i fynu yn eu tai eu hunain, ni allent yn unig ond tywallt dagrau yn ddirgel; ac ni chaent gymmaint a gruddfan heb ocheliad mawr, rhag i rai o'u gelynion eu clywed hwynt. Canys os hynny a ddigwyddai, y rhai a alarent a aent yn fuan tan yr un gosp a'r rhai hynny a fyddent yn galaru o'u herwydd. Yn unig yn y nos y cymmerent ychydig o lwch, ac a'i taenent ar eu cyrph; ac etto y rhai oedd barottaf i beryglu eu hunain a'i gwnaent weithiau wrth liw dydd. Ac yr oeddynt yn ddeuddeng mil o'r graddau uchaf a ddifethwyd yn y modd hwn.

Wedi i'r brwd-frydwyr a'r Idumeaid hyn lwyr flino eu hunain yn tywallt gwaed dynion, yr oedd ganddynt y digywilydd-dra o osod i fynu lysoedd barnol, a brawdleoedd i'r diben hynny. Ac fel y bwriadasant i † Zacharias, fab Baruch, un o'r rhai enwocaf o'r dinasyddion gael ei ladd; felly'r hyn a'u cynhyrfodd yn ei erbyn ydoedd, y casineb hwnnw o ddrygioni, a'r cariad at ryddid, pa ryw gynheddfau oedd mor ddisglaer ynddo. Yr ydoedd efe hefyd yn ŵr goludog: felly trwy ei gymmeryd ef ymaith yr oeddynt yn disgwyl, nid yn unig feddiannu ei eiddo, ond hefyd cael gwared o ddyn oedd â chanddo allu mawr i'w gyhoeddiad cyffredin: yna deg a thrugain o rai pennaf y werin, a wnaeth ddangosiad o honynt eu hunain fel barnwyr, pan nad oedd ganddynt ddim awdurdod priodol i hynny. O flaen y rhai hyn y cyhuddwyd Zacharias, o fwriadu bradychu eu llywodraethiad i'r Rhufeiniaid; ac o ddarfod iddo yn ddichellgar ddanfon at Vespasian i'r diben hwnnw. Yn awr ni ymddangosodd un prawf neu arwydd o'r hyn y cyhuddid ef o'i blegid: ond hwy a sicrhasant eu hunain mai felly'r oedd, a darfod eu perswadio o hynny, ac a ddymunasant i'w cadarnhad fod yn dystiolaeth ddigonol o hono. Yn awr pan welodd Zacharias yn amlwg nad oedd ffordd o ddiangfa wedi ei gadael iddo, gan ddarfod ei alw mewn modd bradwriaethus o'u blaenau, ac yna ei ddodi yngharchar, ond nid gyd â bwriad o brawf cyfreithlon o'i fater, fe gymmerodd ryddid mawr i lefaru wrthynt, yn yr anobaith ag ydoedd tano am ei fywyd. Yn ganlynol fe safodd i fynu, ac a chwarddodd am ben eu gau-gyhuddiad; ac mewn ychydig eiriau fe wrthbrofodd y beïau a osodid i'w erbyn ef. Ar ol hyn fe drodd ei ymadrodd at ei gyhuddwyr, ac a ddangosodd yn eglur am eu gwahanol droseddiadau o'r gyfraith; ac a drwm-alarodd oblegid y cymmysgedd i ba un y dygasent achosion cyhoeddus y wladwriaeth. Yn y cyfamser y brwd-frydwyr a dyfasant yn derfysglyd, a chawsant waith mawr yn ymattal rhag tynnu eu cleddyfau allan; er amcanu o honynt ymddangos hyd y diwedd megis rhai yn cynnal llys cyfreithlon. Yr oeddynt yn ewyllysio, ar gyfrifon eraill, i wneuthur prawf o'r barnwyr, pa un a ofalent am yr hyn oedd gyfiawn ar eu

† Rhai esponwyr ydynt barod i feddwl, am y Zacharias hwn, fab Baruch, a laddwyd yma yn anghyfiawn gan yr Iuddewon yn y deml, mai yr un person ydoedd a'r Zacharias, fab Barachias, a ddywedir gan ein Hiachawdwr ddarfod ei ladd gan yr Iuddewon rhwng y deml a'r allor: Matth. xxiii. 35. Rhyw esponiad dieithr yw hwn; gan mai Zecaria y prophwyd ydoedd wir fab Baracia, ac ŵyr Ido. Zec. i. 1. A pha fodd y bu efe farw, ni feddwn un hanes arall am dano ond yr un hynny o'u blaen yn St. Matthew: pan y dywedir mai mab Baruch ydoedd y Zacharias hwn. Gan fod y lladdfa wedi digwydd eisoes pan lefarodd ein Iachawdwr y geiriau hyn: yr Iuddewon o'r blaen a'i lladdasant ef; pan ddarfu lladdiad Zacharias, mab Baruch, yn ol Josephus, ddigwydd ynghylch 34 o flynyddau ar ol hynny. A chan ddigwydd y lladdiad hwnnw rhwng y deml a'r allor, yn nghyntedd yr offeiriaid, un o'r lleoedd cysegredicaf a phellaf yn y deml o'r cwbl; a'r lladdiad hwn, yn ol geiriau Josephus ei hun, ynghanol y deml, ac yn fwyaf tebygol yn nghyntedd yr Israeliaid yn unig; canys ni feddwn un dystiolaeth fod y Selotiaid neu'r brwd-frydwyr wedi halogi cyntedd yr offeiriaid y pryd hyn. Gwel Llyfr V. pen 1. Hefyd Hynaf. XI. 7.

perygl eu hunain. Y deg barnwyr a thrugain a ddygasant eu dedryd i mewn, fod y person a gyhuddid yn ddi-euog; gan ddewis yn hytrach farw gyd ag ef eu hunain, nag i'w farwolaeth gael ei gosod wrth eu drysau hwynt. Ar hyn fe gyfododd cynnwrf mawr ym mysg y brwd-frydwyr wrth ei ddatgan yn ddi-euog: ac yr oeddynt oll yn ddigllon wrth y barnwyr, am eu bod heb ddeall, nad oedd yr awdurdod a roesid iddynt ond mewn rhith neu gellwair. Felly dau o'r rhai hyfaf a honynt a ruthrasant ar Zacharias ynghanol y deml, ac a'i lladdasant. Ac fel yr oedd yn syrthio yn farw i lawr, hwy a'i gwatworasant, gan ddywedyd, "Y mae i ti ein dedryd *ninnau* hefyd; a hyn a brofa yn sicrach rhyddhad i ti na'r llall." Hwy hefyd a'i taflasant i lawr yn union o'r deml i'r pantle dwfn ydoedd is-law iddi. Ymhellach hwy a darawsant y barnwyr a chefn eu cleddyfau, mewn ffordd o ammharch: gan eu gwthio allan o gyntedd y deml; ac a arbedasant eu bywydau i ddim pwrpas arall, na, pan wasgarent ym mysg y bobl yn y ddinas, y deuent yn negeswyr iddynt, i adael iddynt wybod nad oeddynt ddim gwell na chaeth-weision.

Ond erbyn y pryd hyn yr oedd yr Idumeaid yn edifarhau oblegid eu dyfodiad, ac yn anfoddloni wrth yr hyn a wnaethid. Ac wedi eu crynhoi ynghyd yn dyrfa gan un o'r brwd-frydwyr, a ddaethai yn ddirgel attynt ar y cyntaf, fe dystiodd wrthynt pa cynnifer drwg-weithred a gyflawnasant eu hunain mewn cydymgyssylltiad â'r rhai a'u gwahoddasant: a rhoddodd gyfrif neillduol o'r drygau a wnaethid yn erbyn eu prifddinas. Dywedodd, "Ddarfod iddynt gymmeryd eu harfau, megis pe buasai yr archoffeiriad am fradychu'r ddinas i'r Rhufeiniaid, ond na chawsent un arwydd neillduol o'r fath fradwriaeth: ond eu bod hwy yn annogaeth i'r rhai a gymmerasent arnynt gredu y fath beth, tra'r oeddynt eu hunain yn cynnal ymlaen ymarferiad o ryfel a gorthrymder, gyd â'r trahaustra mwyaf. Eu dyledswydd yn wir ydoedd eu rhwystro i fyned yn y modd hwnnw ymlaen ar y cyntaf: a chan weled eu hunain wedi bod yn gydweithredwyr â hwynt yn nhywalltiad gwaed eu cydwladwyr, yr ydoedd yn bryd rhoddi attalfa ar y fath erchyll-waith drygionus; ac nid parhau i roddi ychwaneg o gynnorthwy i rai oedd yn dadymchwel cyfreithiau eu hynafiaid. Ac os cymmerasent dramgwydd oddi wrth gauadigaeth y pyrth i'w herbyn, ac na chawsent ffordd rydd i ddyfod i'r ddinas; etto fod y rhai a'u cauasent allan wedi cael cospedigaeth, a marw o Ananus: a darfod yn agos i'r holl wŷr hynny gael eu difetha yn yr un noswaith. Y gall un weled llawer o honynt eu hunain yn edifarhau am yr hyn a wnaethent, a bod yn amlwg iddynt hwy farbariaeth echryslon y rhai a'u gwahoddasent; ac nad oedd ganddynt ddim parch i'r rhai a'u hachubasai hwynt: eu bod mor ddigywilydd a gweithredu yn y modd creulonaf o flaen llygaid y rhai a'u cynnaliasai: ac y byddai i'w hymddygiadau annuwiol gael eu gosod ar yr Idumeaid: ac a osodid felly at eu cyfrif hwynt, nes i ryw un attal eu mynediad ym mlaen, neu ymneullduo ei hun oddi wrth ymarfer yr unrhyw ddrygau: y dylent hwy gan hynny ymadael i ddychwelyd adref i'w trigfannau, gan fod cyfrifiad o deyrnfradwriaeth yn ymddangos yn enllib: ac nad oedd dyfodiad y Rhufeiniaid i'w ddisgwyl y pryd hynny; a bod llywodraeth y ddinas wedi ei ddiogelu gan y fath furiau a'r na's gellid yn hawdd eu bwrw i lawr. A thrwy ochelyd cymdeithas ymhellach â'r dynion drwg hyn, y gallent wneuthur peth esgusodiad trostynt eu hunain, mewn perthynas i'r modd y twyllwyd hwynt mor bell i gyd-weithredu â hwy yn eu creulonderau."

## PENNOD VI.

*Am barhad creulondeb y brwd-frydwyr tu ag at y dinasyddion. A'r rhesymmau a arferwyd gan Vespasian i wrthgynghori y Rhufeiniaid rhag myned â'r rhyfel ym mlaen y pryd hwnnw.*

YR Idumeaid a gydsyniasant â'r preswadiad hwn; ac yn y lle cyntaf, hwy a ryddhasant y rhai oedd yn y carcharau, pa rai oeddynt ynghylch ddwy fil o'r gwerin-bobl; y rhai ar hynny a ffoesant ymaith yn ddioed at Simon; un ag a fydd i ni adrodd yn fuan am dano. Yn ol hyn yr Idumeaid a ymadawsant o Jerusalem i fyned adref: pa ryw ymadawiad a fu ryfedd gan bob un o'r pleidiau yno. Canys y bobl heb ddeall am eu hedifeirwch, a ymgefnogasant tros amser, o herwydd eu hesmwythâu oddi wrth gynnifer o'u gelynion: pan y darfu i'r brwd-frydwyr

fyned yn fwy trahaus; nid o herwydd eu gadael gan eu cyngreirwyr, ond o herwydd eu rhyddhau oddiwrth y cyfryw ddynion a allai fod yn rhwystr i'w hamcanion, a dodi attalfa ar eu drygioni. Yn ganlynol ni wnaethant ddim oediad yn hwy, ac ni chymmerasant amser i ymgynghori am y dull o gyflawni eu drwg amcan: ond a wnaethant ddefnydd o'r ffordd fyrraf yn y cwbl. A'r hyn a benderfynent unwaith yn ei gylch, hwy a'i dodasant mewn gweithred yn gynt nag a allai neb ddychymmygu. Ond yr oeddynt yn sychedu yn bennaf am waed y dynion mwyaf gwrol, a rhai o deuluoedd goreu. Un math o ba rai a ddifethwyd ganddynt o genfigen, a'r lleill rhag eu hofn. Canys hwy a dybiasant fod eu holl ddiogelwch yn gynnwysedig mewn peidio a goddef neb rhai galluog i gael byw. Ar ba gyfrif hwy a laddasant Gorian, gwr godidog o ran mawredd, ac uchelradd ei deulu hefyd. Yr ydoedd efe hefyd o du gwerin-lywodraeth, ac o'r fath hyfdra a rhyddid meddwl a neb o'r Iuddewon pwy bynnag. Y peth pennaf a fu yn ddistryw iddo ef, gyd â'i fanteision eraill, ydoedd rhyddid ei ymadrodd. Ac ni ddarfu i Niger o Perea ddiangc rhag eu dwylaw. Efe a fuasai yn un o wrolder mawr yn eu * rhyfel â'r Rhufeiniaid: ond yn awr efe a lusgwyd trwy ganol y ddinas: ac, yn ei fynediad, fe waeddodd yn fynych allan, ac a ddangosodd greithiau'r archollion a gawsai mewn rhyfel. Ac wedi ei lusgo y tu allan i'r pyrth, fe attolygodd arnynt ganiattau claddedigaeth iddo. Ond megis y bygythiasent ef yn mlaenllaw na chaniattaent iddo fan o'r ddaear yn feddrod, yr hyn a ddymunodd yn benaf ganddynt; felly hwy a'i lladdasant, heb roddi cennad i'w gladdu ef. Yn awr, fel yr oeddynt yn ei ladd, fe ddymunodd i hyn ddyfod arnynt; sef, dioddef o honynt newyn, pla, a rhyfel; ac uwchlaw'r cwbl, ar iddynt ddyfod yn gyd laddwyr neu lofruddwyr y naill i'r llall: pa ryw erfyniadau a ganiattaodd Duw i ddyfod bob un ar y drwg-ddynion yma; a'r hyn a ddaeth yn dra chyfiawn arnynt cyn nemawr o amser ar ol hynny, pan y profasant o ffrwyth eu gwallgofrwydd trwy eu hymraniadau y naill yn erbyn y llall. Felly wedi lladd y Niger hwn, eu hofnau o ddadymchweliad iddynt eu hunain a ddiflanodd. Ac yn wir nid oedd un rhan o'r bobl na chaent allan ryw esgus i'w difetha. Canys rhai o honynt a leddid o herwydd amrafaelio â rhyw un o honynt. Ac am y cyfryw na wrthwynebodd hwynt yn amser heddwch, hwy a wylient am ryw achlysur i gyfodi achwyniaeth yn eu herbyn. Ac os byddai ryw un na ddeuai oll yn agos attynt, fe fyddai tan eu drwg-dybiau o ddyn balch. Os deuai rhyw un yn hyf ac yn rhyfygus, fe'i cyfrifid yn ddirmygwr o honynt. Ac os deuai neb gyd âg amcan i ddangos eu rhwymedigaeth iddynt, meddylient ei fod yn llunio rhyw fradwriaeth yn eu herbyn; pan yr ydoedd unig gospedigaeth beïau, pa un bynnag ai o radd fawr neu fechan, yn farwolaeth. Ac ni allai un ddiangc, oddigerth ei fod yn rhyw un hollol ddiystyrllyd, ar gyfrif gwaelder ei enedigaeth, neu iselder ei amgylchiad.

Yn awr, yr holl flaenoriaid eraill ym mysg y Rhufeiniaid a gyfrifent yr ymrafaelion oedd rhwng eu gelynion â'u gilydd o fawr fantais iddynt hwy; ac a oeddynt yn dra awyddus i wneud ymgyrch i'r ddinas: ac a gymmellasant Vespasian, eu harglwydd â'u penciwdawd, ar bob cyfrif i wneuthur brys: ac a ddywedasant wrtho, "Y mae rhagluniaeth Duw o'n hochr ni, trwy fod yn gosod ein gelynion yn erbyn eu gilydd: ond fe ddichon cyfnewidiad yn y fath amgylchiadau fod yn ddisymmwth; a'r Iuddewon a allant yn fuan gymmodi â'u gilydd drachefn; un a'i oblegid blino o honynt ar eu terfysgoedd cartrefol, neu edifarhau am y pethau a wnaethent." Ond Vespasian a ddywedodd eu bod yn camsyniad yn fawr am yr hyn a dybient yn oreu i'w wneuthur: megis rhai mewn chwareufa yn hoffi gwneud ymddangosiad o'u dwylaw a'u cleddyfau, ond a wnant hynny trwy beryglu eu hunain, heb ystyried, yr hyn oedd er eu mantais na'u diogelwch. Canys os myned a wnaent yn awr i orddiwes y ddinas, yn ddioed, ni fyddai iddynt wneuthur yn amgen na rhoddi achlysur i'w gelynion i gyd-uno â'u gilydd, i droi eu harfau i'w herbyn hwy, pan yr oeddynt y pryd hynny â'u holl nerth yn eu defnyddio i'w difetha eu hunain. Ond os arhosent ryw fesur o amser, byddai ganddynt lai o elynion; o herwydd fod yn rhaid eu lleihau trwy'r terfysgiadau presennol. "Duw," eb efe, "sydd yn gweithredu fel penciwdawd y Rhuf-

* Gwel Llyfr II. pen. 20.

einiaid yn well nag y medraf fi; ac sydd yn rhoddi'r Iuddewon i fynu i ni, heb ddim poen o'u tu ein hunain, ac yn caniattâu i'n byddin fuddugoliaeth yn ddiberygl. Gan hynny y ffordd oreu i ni, tra mae'n gelynion yn difetha eu gilydd â'u dwylaw eu hunain; ac yn syrthio i'r blinderau gwaethaf, yr hyn yw ymraniadau, ydyw aros yn llonydd fel edrychwyr ar y peryglon y maent yn rhedeg iddynt, yn hytrach nag ymladd lawlaw â dynion sydd yn caru llofruddiad, ac wedi ymgynddeiriogi y naill yn erbyn y llall. Ond os tybia rhyw un y bydd y glod o fuddugoliaeth, pan ei hynniller heb ymladd yn llai ei anrhydedd; gwybydded fod y llwyddiant a enniller trwy lonyddwch, yn fwy dymunol nag anturio i beryglon oddiwrth frwydr: canys ni ddylem gyfrif y rhai hynny ag a wnant yr hyn sydd gyttûn â chymmedroldeb a phwyll, yn ddim llai eu parch, na'r rhai a ennillasant glod trwy eu gweithrediadau mewn rhyfel. Bydd i mi arwain fy myddin yn mlaen gyd â mwy o rym pan ddiffygier fy ngelynion, ac wedi i'm lluoedd fy hun adnewyddu eu nerth, ar ol y llafur parhaus y buont ynddo. Pa fodd bynnag, nid dyma'r amser i ni addaw i ni ein hunain y clod o fuddugoliaeth: canys nid yw'r Iuddewon yn awr yn ymdrin â'r gwaith o wneuthur arfau, neu adeiladu muriau; nac yn wir yn casglu yn nghyd gynnorthwyadau o wledydd eraill; fel ag y bydd y fantais o'u tu hwynt, y rhai a rydd y fath gyfleusdra iddynt i oedi ymbarottoad: ond etto hwy a rwygir beunydd yn ddrylliau gan eu rhyfel cartrefol a'u hymraniadau; ac y maent tan waeth dioddefiadau, nag, wedi eu cymmeryd gennym ni a allem ei osod arnynt. Pwy bynnag gan hynny o honom sydd yn gofalu am yr hyn a fyddo er ein diogelwch, dylai oddef i'r Iuddewon hyn ddifetha y naill y llall: neu os edrych ar anrhydedd buddugoliaeth trwy frwydr, ni ddylem mewn un modd gyffwrdd â'r dynion hyn ag sydd yn awr yn gystuddiedig gan flinderau cartrefol. Canys pe byddem yn awr i fuddugoliaethu arnynt, fe gyfrifid ein congcwest nid i'n gwrolder ni, ond i'w hymraniadau hwynt."

Yn awr blaenorion y fyddin Rufeinig a gydsyniasant yn hollol â'r hyn a ddywedodd Vespasian: ac fe ddatguddiwyd yn fuan pa mor ddoeth oedd ei resymau ar yr achos hwn. Ac yn wir llawer o'r Iuddewon a ffoesant ymaith bob dydd, ac a giliasant oddiwrth y brwd-frydwyr. Er yr un pryd fod eu ffoedigaeth yn drapheryglus, pan yr oeddynt wedi gosod gwylwyr ar bob lle o fynediad allan o'r ddinas; ac a laddent bob un a ddelid ynddynt, gan gymmeryd yn ganiattaol eu bod yn myned trosodd at y Rhufeiniaid. Etto fe fyddai i'r sawl a roddai arian iddynt gael ei ollwng i fyned rhagddo yn ei flaen: tra'r oedd hwnnw yn unig na feddai ddim i'w roddi iddynt yn cael ei gyfrif yn fradwr. Felly y canlyniad ydoedd ddarfod i'r cyfoethogion bwrcasu eu ffoedigaeth ag arian; fel nad oedd neb ond y tlodion yn cael eu lladd. Ar hyd yr holl brif-ffyrdd hefyd yr oedd nifeiri mawr o gyrph meirwon yn gorwedd yn bentyrau: ac hyd yn oed llawer o'r rhai hynny ag oedd mor awyddus i encilio, o'r diwedd a ddewisasant yn hytrach farw o fewn i'r ddinas. Canys eu gobaith am gladdedigaeth a barodd farwolaeth yn eu dinas eu hunain yn llai arswydus iddynt. Ond y brwd-frydwyr hyn a ddaethant o'r diwedd i'r fath radd o farbariaeth na chaniattaent gladdu y rhai a leddid yn y ddinas, neu y rhai a orweddent ar hyd y priffyrdd. Ond fel pe buasent wedi gwneud cyngrair i ddilëu cyfreithiau eu gwlad, a chyfraith natur: ac ar yr un amser ag yr oeddynt yn halogi dynion â'u drwg weithredoedd, ymdrechent hefyd i halogi trefn ddwyfol, gan adael i gyrph meirwon bydru tan wres yr haul. A'r un gosp a ordeinid i'r sawl a gladdai neb, ac i'r rhai a encilient, yr hyn nid oedd ddim amgen na marwolaeth: pan fyddai i'r un a ganiattäi fedd i arall yn diattreg yn sefyll mewn diffyg o un ei hunan. Mewn gair nid oedd gynneddf arall wedi ymadael mor llwyr â hwynt a thrugaredd. Canys yr hyn oedd yn wrthddrych pennaf o dosturi, oedd fwyaf i gyd yn cythruddo y dihirwyr hyn: a hwy a drosglwyddasant eu cynddaredd oddiwrth y rhai byw at y rhai a laddesid, ac oddiwrth y meirw at y byw drachefn. Nag ê, y dychryndod ydoedd mor fawr, fel yr oedd y rhai byw yn cyfrif y rhai a fuasent feirw gyntaf yn ddedwydd, megis eu bod eisoes wedi gorphwys: a chyffelyb ydoedd eu meddyliau hwynt y rhai oeddynt yn cael eu harteithio mewn carcharau; gan dystio fod y rhai meirw a orweddent yn ddi-gladdedigaeth yn ddedwyddach nâ

hwynt hwy. Y dynion yma gan hynny a sathrasant gyfreithiau dynol tan draed, ac a chwarddasant am ben cyfreithiau Duw: ac am ymadroddion y prophwydi, hwy a'u gwatworasant, fel twyll-chwedlau ystrywgar. Etto fe ragddywedodd y prophwydi hynny lawer o bethau perthynol i wobrwyon rhinwedd, a chosp dryg-ioni; y rhai gwedi i'r brwd-frydwyr hyn eu treisio, a fu'n achlysur o gyflawni amryw o'r prophwydoliaethau hynny mewn perthynas i'w gwlâd eu hunain. Canys yr oedd rhyw attebfa neu ymadrodd hynafiaethol wedi ei draddodi am y dynion hyn, y "Byddai i'r ddinas gael ei chymmeryd, * a'r cyssegr gael ei losgi, wrth hawl rhyfel, pan fyddai i ymraniad orddiwes yr Iuddewon; a'u dwylaw eu hunain halogi teml Dduw." Yn awr, pan nad oedd y brwd-frydwyr heb gwbl anghredu y rhagfynegiadau hyn, gwnaethant eu hunain yn offerynau i'w cyflawni.

## PENNOD VII.

*Am ymddygiadau gorthrymus Ioan, a'r drygau a wnaethpwyd gan y brwd-frydwyr ym Massada. Hefyd am ddarostyngiad Gadara; a'r gweithredoedd a wnaethpwyd gan Placidus.*

ERBYN yr amser hwn yr oedd Ioan yn dechrau myned yn orthrymwr; ac a dybiodd ei fod yn beth gwael iddo ef i gael yr un anrhydedd yn unig ag eraill. A chan gyssylltu ag ef ei hun yn raddol blaid o'r dynion annuwiolaf, efe a dorrodd ymaith ei hun oddiwrth weddill yr ymblaid. Hyn a ddygwyd oddi amgylch trwy ei waith yn barhaus anghyttuno â meddyliau'r lleill; ac yn cyhoeddi gorchymynion o'r eiddo ei hun mewn modd tra arglwyddiaethol. Felly'r oedd yn amlwg ei fod ef am osod i fynu unben lywodraeth. Yn awr, rhai a ymostyngasant iddo oddiar ofn, ac eraill o ewyllys da. Canys yr oedd efe yn ddyn cyfrwysgall i fedru denu dynion trwy dwyll a hudoliaeth.Ië, llawer ydoedd yn awr yn meddwl y diogelent eu hunain yn fwy, trwy fod achosion eu trahaus weithredoedd yr amser aeth heibio yn cael yn awr eu trosglwyddo tan un pen, yn hytrach na than lawer. Ei astudrwydd ydoedd mor fawr, a hynny mewn gweithred a chyngor, fel nad oedd ganddo ychydig o warchawdlu o'i amgylch. Etto darfu i nifer mawr o'r wahanol blaid ei adael ef: ym mysg pa rai fe bwysodd cynfigen lawer; pan feddyliasant yn beth trwm i ymostwng i un ag oedd o'r blaen yn gydradd â hwynt. Ond y peth mwyaf a gynhyrfodd ddynion yn ei erbyn oedd yr ofn o unbennaeth. Canys ni allent yn hawdd obeithio dodi terfyn ar ei awdurdod, os unwaith y meddianai hi. Ac etto hwy a wyddent y byddai'r esgus yma ganddo yn wastadol yn eu herbyn, iddynt hwy ei wrthwynebu ar ei dderchafiad cyntaf: tra'r oedd pob un yn dewis yn hytrach ddioddef unrhyw beth trwy ryfel, nac wedi dioddef caethiwed ewyllysgar tros amser, iddynt ar ol hynny gael eu difetha. Felly'r ymbleidwyr a wahanasant yn ddwy ran: a Ioan a deyrnasodd ar un o honynt yn erbyn y rhai a'u gwrthwynebai. Ond am eu blaenoriaid, hwy a wylient y naill ar y llall; ac ni ddarfu iddynt oll, neu o'r hyn lleiaf ond ychydig, gyffwrdd ag arfau yn eu hymrafaelion. Ond hwy a ymladdasant yn egniol yn erbyn y bobl, gan ymryson â'u gilydd pwy a ddygai adref yr ysglyfaeth fwyaf. Ond o herwydd fod gan y ddinas i ymdrechu â thri o'r blinderau mwyaf, rhyfel, gorthrymder, ac ymryson; fe ymddangosodd, ar gydmariaeth, mai rhyfel oedd o leiaf blinder i'r bobl o honynt oll. Yn ganlynol hwy a ffoesant ymaith o'u cartrefi eu hunain at ddieithriaid; ac a gawsant yr ymwared hwnnw oddiwrth y Rhufeiniaid, yr hwn a anobeithiasant ei fwynhau ym mysg eu pobl eu hunain.

Ac yn awr y pedwerydd blinder a gyfododd mewn trefn i ddwyn ein cenedl i ddinistr. Yr oedd amddiffynfa o gadernid mawr heb fod ym mhell o Jerusalem, yr hon a adeiladesid gan ein brenhinoedd yn yr amser gynt, megis trysorfa neu ystôrdy eu meddianau ymheryglon rhyfel, ac er diogelwch i'w personau yn y cyfryw amser. Henw y lle ydoedd Massada. Y

* Y rhagfynegiad hwn y "byddai i ddinas Jerusalem a'r cyssegr gael ei losgi, wrth hawl rhyfel; pan fyddai i ymraniadau orddiwes yr Iuddewon; a'u dwylaw eu hunain halogi'r deml;" neu fel y mae VI. 2. "Pan ddechreuai rhyw un ladd ei gydwladwyr yn y ddinas," sydd yn eisiau yn ein presennol gopiau o'r hen Destament. Gwel yn Saesonaeg, Essay on the Old Testament. t. d. 104,---112. Ond y rhagfynegiad hwn, fel y sylwia Josephus yn dda, er, gyd â rhag-ddywediadau eraill y prophwydi, ei fod yn cael ei watwor gan yr ymbleidwyr, cafodd trwy'r moddion o honynt hwy yn fuan ei gyflawni. Pa fodd bynnag ni allaf amgen na chymmeryd sulw yma ar ddywediad Grotius, wrth ysgrifennu ar Matth. xx. 9. a goffeir gan Dr. Hudson y "dylid cymmeryd yn ganiattaol, fel gwirionedd sicr, fod llawer o ragfynegiadau y prophwydi Iuddewig, yn nghadw, nid mewn ysgrifen, ond yn nghôf rhai dynion o'u cenedl." Pryd y mae hyn yn ymddangos i mi mor bell oddiwrth wirionedd sicr, a meddwl o honof nad oes un prawf na thebygolrwydd oll o hono.

rhai a elwid Sicarii a gymmerasant feddiant o honi gynt. Ond yr amser hwn yr oeddynt yn ymdaenu tros yr ardaloedd cymmydogaethol yn unig gyd â golwg i gael lluniaeth iddynt eu hunain: canys yr ofn ag oeddynt y pryd hwnnw tano a'u lluddiodd i fyned ymhellach. Ond wedi iddynt unwaith glywed fod y fyddin Rufeinig yn gorwedd yn llonydd, a bod yr Iuddewon wedi ymrannu rhwng yr ymarferiad o orthrymder a therfysg, hwynt hwy yn hyfion a gymmerasant bethau mwy arnynt. Ac ar ŵyl y bara croyw, yr hon a geidw'r Iuddewon er cof am eu gwaredigaeth o gaethiwed yr Aipht, pan ddanfonwyd hwy yn ol i wlâd eu henafiaid; hwy a ddaethant i wared yn y nos heb eu canfod gan y rhai a allasai eu hattal hwynt: ac a anrheithiasant ddinas fechan a elwid Engadi. Yn yr ymgyrch hwn hwy a ragflaenasant y dinasyddion hynny oedd a gallu i'w gwrthsefyll hwynt, cyn iddynt ymarfogi a dyfod i ymladd â hwynt: hwy hefyd a'u gwasgarasant, ac a'u hymlidiasant allan o'r ddinas. Am gynnifer a'r na's gallent ffoi ymaith, megis gwragedd a phlant, lladdasant o honynt ynghylch wyth gant. Ar ol hynny, wedi dwyn o honynt bob peth o'u tai, a meddiannu o honynt yr holl ffrwythau oedd mewn cyflwr blodeuog, hwy a'u dygasant i Massada. Ac yn wir y dynion hyn a ddifrodasant yr holl bentrefi oedd o amgylch yr amddiffynfa, gan wneud yr holl wlâd yn anghyfannedd: pan daeth attynt yn feunyddiol nid ychydig ddynion o bob parth, mor llygredig a hwy eu hunain. Ar yr amser hwn holl ardaloedd eraill Judea a fuasent yn llonydd hyd yn hyn, oeddynt mewn cynnwrf oblegid yr yspeilwyr. Yn awr, fel ag y mae mewn corph dynol, os bydd y rhan bennaf yn afiach, yr holl aelodau a fyddant ddarostyngedig i'r un anhwyldeb: felly trwy'r moddion o'r ymraniad a'r annhrefn oedd yn y brif-ddinas, rhoddwyd achlysur i ddynion annuwiol yn y wlâd i wneuthur yr un peth. Yn ganlynol, wedi i bob rhai o honynt anrheithio y pentrefi yr oeddynt yn trigo ynddynt, hwy a gilient ymaith i'r diffeithwch. Etto'r oedd y dynion hyn a ddaethant yn awr ynghyd, ac a unasant â'u gilydd yn bleidiau yn y bradwriaeth, yn rhy fychain o fyddin, ac yn lliosog i blaid o ladron. Ac fel hyn y syrthiasant ar * leoedd cyssegredig, a'r dinasoedd. Etto fe ddigwyddodd felly yn awr, ddarfod iddynt gael triniaeth chwerw gan y rhai a dreisient mor anghyfiawn, a hwy a gymmerwyd ganddynt megis mewn rhyfel. Etto hwy a beidiasant ag un gospedigaeth ymhellach, megis y gwna yspeilwyr; y rhai mor gynted ag y datguddir eu difrod a redant ymaith. Ac nid oedd yn awr un rhan o Judea heb gymmysgedd truenus ynddo, yn gystal a'r dinasoedd enwog.

Y pethau hyn a adroddwyd i Vespasian gan ffoaduriaid: canys er darfod i'r ymbleidwyr wylio'r holl ffyrdd allan o'r ddinas, a difetha pawb oll, pwy bynnag a fyddent, ag a ddeuent yno; etto'r ydoedd rhai ag a ymguddiasant eu hunain: ac wedi iddynt ffoi at y Rhufeiniaid, hwy a fynnent berswadio eu penciwdawd i ddyfod yn gynnorthwy i'r ddinas, ac achub gweddill y bobl: gan hyspysu ymhellach iddo, mai ar gyfrif eu hewyllys da i'r Rhufeiniaid y lladdwyd llawer o'r bobl eisoes, a bod y rhai a adawyd yn fyw tan berygl o'r un driniaeth. Vespasian ydoedd yn wir yn tosturio eisoes wrth y trueni yr oedd y bobl hyn ynddo; ac a gyfododd, mewn ymddangosiad, fel pe buasai yn myned i warchau ar Jerusalem; ond mewn gwirionedd i'w gwaredu oddiwrth waeth cynllwyn yr oeddynt eisoes tano. Pa fodd bynnag yr oedd yn rhwym i ddadymchwel yr hyn oedd yn sefyll mewn mannau eraill, heb adael dim allan o Jerusalem ar ol, ag a allai fod yn rhwystr iddo yn y cynllwyn hwnnw. Yn ganlynol fe wnaeth ymdrech yn erbyn Gadara, prif ddinas Perea, yr hwn ydoedd le o gadernid; ac a aeth i mewn i'r ddinas honno ar y pedwerydd dydd o'r mis Dystrus, neu Adar.† Canys y gwŷr o awdurdod a ddanfonasent gennadwri atto, heb yn wybod i'r ymrysonwyr, i lunio cyttundeb ynghylch rhoddi i fynu 'r ddinas. Yr hyn a wnaethant oddi ar y dymuniad oedd ganddynt am heddwch, ac achubiaeth eu heiddo; o herwydd fod llawer o ddinasyddion Gadara yn wŷr cyfoethog. Am y gennadwri hon, ni wybu y blaid wrthwynebol ddim; ond fe'i datgudd-

* Am y lleoedd cyssegredig, megis rhai gwahanol oddiwrth ddinasoedd, rhaid ei fod yn meddwl y Proseuchæ, neu dai gweddi allan o ddinasoedd: am ba rai y gwelwn grybwylliad yn y Testament Newydd, ac mewn awdwyr eraill. Gwel Luc vi. 12. Act. xvi. 13, 16. Hynaf. xiv. 10. Eu sefyllfa ydoedd ar amserau wrth-lan afonydd; Act. xvi. 13, neu yn ymyl y môr; Hynaf. xix. 10. Felly y darfu i'r LXXII dehonglwyr fyned i weddïo bob boreu i fin y môr, cyn myned o honynt at eu gorchwyl. Hynaf. XII. 2.

† B. A. 68.

iwyd iddynt fel ag yr oedd Vespasian yn agoshau at y ddinas. Pa fodd bynnag hwy a anobeithiasant gadw meddiant o'r ddinas, trwy eu bod yn llai mewn rhifedi na'u gelynion, y rhai oedd o fewn y ddinas, a chan weled y Rhufeiniaid yn dra agos atti. Felly hwy a ymroisant i ffoi; ond tybiasant hynny yn ddianrhydedd iddynt heb golli peth gwaed, a dial eu hunain ar y rhai a fu yn achos o roddi i fynu'r ddinas. Felly hwy a oddiweddasant Dolesus (gŵr ag oedd nid yn unig yn bennaf o ran ei deulu a'i raddau yn y ddinas honno, ond un a ymddangosodd yn annogaethwr y ddiweddar gennadwri) ac a'i lladdasant ef; gan ammherchi ei gorph mewn dull tra barbaraidd, o herwydd mor ddigllon oeddynt tu ag atto; ac yna hwy a ffoesant allan o'r ddinas. Ac yn awr fel yr oedd y fyddin Rufeinig gerllaw iddynt, pobl Gadara a dderbyniasant Vespasian gyd â bloddest o lawenydd; ac efe a roddodd iddynt sicrwydd ei ddeheulaw; megis hefyd gwersyllfa o wŷr meirch a gwŷr traed, i fod yn wylwyr iddynt rhag ymgyrch oddiwrth y ffoaduriaid. Canys am eu mur, hwy a'i tynnasant i lawr cyn i Vespasian ddymuno arnynt ei wneuthur, fel y rhoddent arwydd trwy hynny eu bod yn caru heddwch: neu, os ewyllysient, y gallent yn awr wneud rhyfel i'w herbyn.

Yn awr, Vespasian a ddanfonodd Placidus yn erbyn y rhai a ffoesent o Gadara, gyd â phum cant o wŷr meirch, a thair mil o wŷr traed: pan y dychwelodd ef ei hun i Cæsarea, gyd â gweddill y fyddin. Ond cyn gynted ag y daeth y crwydraid i ymladdfa agos, hwy a gydredasant i ryw bentref a elwid Bethennabris. Ym mha fan wedi cael lliaws o wŷr ieuaingc; a chan eu harfogi, rai o honynt yn wirfoddol, ac eraill o'u hanfodd, hwynthwy yn fyrbwyll ac yn ddisymmwth a oddiweddasant Placidus, a'r lluoedd oedd gyd ag ef. Y gwŷr meirch ar y cyntaf a giliasant ychydig; gan ewyllysio eu denu ymhellach oddiwrth y mur. Ac wedi eu tynnu i le pwrpasol ganddynt, gwnaethant i'r gwŷr meirch eu hamgylchynu hwynt, a thaflu eu piccellau attynt. Felly y gwŷr meirch a dorrasant ymaith ffoedigaeth y crwydraid; tra'r oedd y gwŷr traed yn difetha yn ddychrynllyd y rhai a ymladdent i'w herbyn. Canys yr Iuddewon hyn ni wnaethant ychwaneg na dangos eu calondid, ac yna hwy a ddifethwyd. Canys fel ag y syrthiasant ar y Rhufeiniaid, wedi eu hymgyssylltu ynghyd, ac, megis pe buasai, wedi murio o amgylch iddynt â'n llawn arfogaeth; ni fedrent gael un ffordd i saethu eu piccellau attynt; ac ni allent trwy un modd dorri eu rhesau hwynt: tra'r oeddynt hwy eu hunain yn cael eu rhedeg trwodd â gwaywffyn y Rhufeiniaid: ac fel y gerwinaf o fwystfilod gwylltion hwy a ruthrasant ar fin y cleddyfau. Felly rhai o honynt a ddifethwyd, megis wedi eu torri i lawr gan gleddyfau eu gelynion yn eu hwynebau, ac eraill gan y gwŷr meirch a wasgarwyd.

Yn awr, Placidus a ofalodd na adewid iddynt ddychwelyd i'r pentref yn eu ffoedigaeth: a chan beri i'w wŷr meirch yrru yn wastadol ym mlaen yr ochr hwnnw, yna fe ddychwelodd ar fyr yn eu herbyn: ac ar yr un amser ei wŷr a wnaethant ddefnydd o'u piccellau, gan annelu gyd â hawsdra at y rhai nesaf attynt; a pharasant i'r rhai pellaf ddychwelyd yn eu gwrthol gan y dychryn yr oeddynt ynddo, nes o'r diwedd i'r rhai dewraf o honynt dorri trwy'r gwŷr meirch, a diangc at fûr y faesdref. Ac yn awr y rhai oedd yn gwylied y mûr oeddynt tan amheuaeth mawr pa beth i'w wneuthur. Canys ni allent oddef y meddyliau o gauad allan y rhai a ddaethent o Gadara, oblegid eu pobl eu hunain ag oedd yn eu mysg hwynt. Ac etto os gollyngent hwy i mewn, disgwyliasant gael eu difetha gyd â hwynt; yr hyn a ddaeth o amgylch yn ganlynol. Canys fel yr oeddynt yn ymdyrru ynghyd wrth y mûr, y gwŷr meirch Rhufeinig ydoedd agos a syrthio arnynt. Pa fodd bynnag, gwylwyr y lle a'u rhagflaenodd, ac a gauasant y pyrth. Pan y darfu i Placidus wneuthur ymosodiad nerthol arnynt nes tywyllu'r dydd, a chael meddiant o'r mur, a'r bobl ag oedd yn y ddinas. Pan y difethwyd y rhai analluog, ac y ffodd eraill ymaith: a'r milwyr a yspeiliasant y tai, a gosodasant y dref ar dân. Am y rhai a ddiangasant o honi, hwy a gynnyrfasant y rhai oedd yn y wlad; a chan adrodd faint eu blinderau wrthynt, a dywedyd fod y fyddin Rufeinig gerllaw, hwy a'u dodasant tan ofn mawr ar bob tu. Felly hwy a ymgrynhoisant yn nifer mawr ynghyd, ac a ffoisant i Jericho. Canys ni wyddent am un lle arall a allai beri dim gobaith o ddiangfa iddynt: gan ei bod yn

ddinas â mur cadarn o'i hamgylch; ac ynddi nifer mawr o drigolion. Ond Placidus yn hyderu yn fawr ar ei wŷr meirch, a'i lwyddiant o'r blaen, a'u dilynodd hwynt; ac a laddodd y rhai oll a oddiweddodd ar y ffyrdd, cyn belled a'r Iorddonen. Ac wedi iddo yrru yr holl liaws at lan yr afon, lle'r attaliwyd hwynt gan y llifeiriant; (canys hi a godasai gan wlaw diweddar, fel na ellid ei rhydio;) fe drefnodd ei filwyr gogyfer â hwynt. Felly 'r angenrheidrwydd ag oedd y lleill tano a'u cymhellodd i anturio brwydr; o herwydd nad oedd un lle i ochelyd neu ddiangc. Yna hwy a ymestynasant eu hunain tros hir ffordd ar hyd geulennydd yr afon, gan ymgynnal tan y saethau a ergydid attynt, yn gystal ag ymosodiadau y gwŷr meirch; y rhai a gurasant lawer o honynt, ac a'u gyrrasant i'r llif-ddyfroedd. Yn yr ymdrech caled hwn, fe laddwyd o honynt bymtheug mil: tra yr oedd rhifedi y rhai a yrrwyd o'u hanfodd i neidio i'r Iorddonen, yn aneirif: a dwy fil a deucant a gymmerwyd yn garcharorion. Ysglyfaeth fawr a gymmerwyd hefyd; yn gynnwysedig mewn mulod, defaid, camelod, ac ychain.

Yn awr y dinystr hwn a oddiweddodd yr Iuddewon, fel nad oedd yn llai o fesur na rhannau eraill ynddo ei hun; etto fe ymddangosodd yn fwy nag mewn gwirionedd yr ydoedd. A hyn o herwydd, nid yn unig fod yr holl wlad trwy ba un y ffoesant wedi ei llenwi â lladdfeydd, ac na's gellid myned tros yr Iorddonen o herwydd amldra y cyrph meirwon; ond hefyd y llyn Asphaltites ydoedd lawn o honynt, i ba le y dygid hwy i lawr gan ffrwd yr afon. Ac yn awr Placidus, ar ol ei lwyddiant hwn, a syrthiodd gyd â thrais ar y dinasoedd a'r pentrefi lleiaf. Pan y cymmerodd Abila, Julias, Bezemoth, a'r holl rai hynny a orweddent mor bell a'r llyn Asphaltites: a dododd gynnifer o'r encilwyr yn mhob un o honynt ag a dybiodd yn gyfaddas. Yna fe roddodd ei filwyr ar fwrdd llongau, ac a laddodd y cyfryw ag a ffoesent ar y llyn. Yn gymmaint a darfod i holl Perea un ai ymostwng o honynt eu hunain, neu gael eu cymmeryd gan y Rhufeiniaid, cyn belled a Macherus.

## PENNOD VIII.

*Vespasian wedi clywed am rai cynnyrfiadau ag oedd yn ymgodi yn Gaul, yn gwneuthur brys i ddiweddu y Rhyfel Iuddewig. Descrifiad o Jericho, a'r gwastad mawr; gyd â hanes y llyn Asphaltites.*

YN y cyfamser, hanes a ddaeth am gythryfwl yn cyfodi yn Gaul; a bod * Vindex, ynghyd â gwŷr eraill o awdurdod yn y wlad honno, wedi gwrthdroi yn erbyn Nero; pa ryw weithred a ddesgrifir yn fanylach mewn lle arall. Yr hanes yma a gynhyrfodd Vespasian i fyned ym mlaen yn gyflym â'r rhyfel: canys efe a ragwelodd eisoes y rhyfeloedd cartrefol ag oedd yn dyfod i'w goddiweddu; ïe, fod y llywodraeth Rufeinig ei hun mewn perygl; ac a feddyliodd pe gallai ddarostwng y rhan ddwyreiniol o'r ymmerodraeth yn gyntaf i ufudd-dod, y parai yr ofn am Itali yn ysgafnach. Tra'r oedd y gauaf gan hynny yn rhwystr iddo i fyned i'r maes, fe osododd wersylloedd yn y pentrefydd, a'r dinasoedd lleiaf, er diogelwch iddynt. Dododd ddengwriaid hefyd yn y maesdrefi, a chanwriaid yn y dinasoedd. Efe heblaw hyn a adgyweiriodd amryw o'r dinasoedd a ddadymchwelasid. Ond ar ddechrau'r gwanwyn fe gymmerodd y rhan fwyaf o'i fyddin, ac a'i tywysodd o Cæsarea i Antipatris. Yno'r arhosodd ddeuddydd i sefydlu achosion y ddinas honno: ac yna ar y trydydd dydd, fe gyrchodd yn ei flaen; gan ddifrodi a llosgi yr holl bentrefi cymmydogaethol. Ac wedi dadymchwel yr holl fannau o amgylch Thamnas, fe aeth rhagddo i Lydda a Jamnia. Ac wedi i bob un o'r dinasoedd hynny ymostwng iddo, fe osododd lawer o'r rhai a ddaethent trosodd atto ef yn breswylwyr ynddynt, ac yna a ddaeth i Emmaus: lle y goresgynodd amryw o'r tramwyfeydd oedd yn arwain oddi yno i'w prif-ddinas, ac a amddiffynodd ei wersyll. A chan adael y pummed lleng yno, fe ddaeth i Bethleptephon. Yna fe ddinystriodd y lle hwnnw, a'r mannau cymydogaethol trwy dân: ac a amddiffynnodd, mewn lleoedd pennodol, y mannau cedyrn o amgylch holl Idumea. Ac wedi goresgyn dwy o bentrefi, y rhai oedd ynghanol Idumea, Betaris a Caphartobas, fe laddodd uwchlaw deng mil o'r bobl, ac a gymmerodd ychwaneg na mil yn garcharorion; gan yrru ymaith weddill y

* Ymberthynas i'r Julius Vindex hwn, pa un oedd yn awr mewn gwrthryfel yn erbyn Nero yn Gaul, Gwel Tacitus, Annal. xv. 74. Histor. I. 51. a Suetonius in Neron § 40, 41, 46.

lliaws, a gosod rhan nid bychan o'i luoedd ei bun yuddynt. Y rhai hynny a oresgynnodd ac a ddifrodasant yr holl wlad fynyddig, tra bu efe, gyd â gweddill y fyddin, yn dychwelyd i Emmaus: i ba ryw le y daeth trwy wlad Samaria, a cherllaw i'r ddinas a elwid gan eraill * Neapolis, ond gan bobl y wlad Mabortha, i Corea: ym mha le y gwersyllodd, yr eilfed dydd o'r mis Desius, neu Sivan. Ac ar y dydd nesaf fe ddaeth i Iericho. Ar ba ddiwrnod Trajan, un o'r gad-flaenoriaid, a ymgystylltodd ag ef â'r byddinoedd a ddygodd o Perea. A'r holl leoedd tu hwnt i'r Iorddonen oedd eisoes wedi eu darostwng.

Ar hyn lliaws mawr a ragflaenasant eu dynesiad, y rhai a ddaethant allan o Jericho, ac a ffoesant i'r parthau mynyddig a orweddant gyferbyn a Jerusalem: tra y darfu i'r rhai a safodd yn ol mewn mesur mawr gael eu difetha. Hwy hefyd a gawsant y ddinas yn anghyfanedd. Ei sefyllfa sydd mewn gwastadedd; ond mynydd noethlwm a thra diffrwyth, o uchder a hyd mawr, sydd yn crogi uwch ei phen hi: yr hwn sy'n ymestyn hyd at y tir o amgylch Scythopolis o du'r gogledd; ond mor bell a gwlad Sodoma, a therfynau eithaf y llyn Asphaltites tu â'r dehau. Y mynydd hwn i gyd sydd yn arw ac yn anwastad, ac yn ammhreswyliedig o herwydd ei ddiffrwythdra. Y mae cyffelyb fynydd yn sefyll gyferbyn â hwn y tu arall i'r Iorddonen. Hwnnw sydd â'i ddechreuad wrth Julias, a'r parthau gogleddol, ac sydd yn ymestyn tu â'r dehau cyn belled a † Somorrhon, yr hwn yw terfyn Petra yn Arabia. Ynghadwyni y mynyddau hyn y mae un a elwir yn fynydd yr haiarn, ag sydd yn rhedeg mewn hyd cyn belled a gwlad Moab. Yn awr yr ardal ag sy'n gorwedd yn y canol rhwng y rhesau hyn o fynyddoedd, a gyfenwir y gwastadedd mawr. Y mae'n cyrraedd o'r pentref Ginnabris, mor bell â'r llyn Asphaltites. Ei hyd yw dau cant a deg ar hugain o stadau; a'i led yn ugain a chant; ac a wahanir yn y canol gan yr Iorddonen. Y mae dau o lynnoedd ynddo; sef y llyn Asphaltites a Thiberias, y rhai sydd â'u sefyllfa gogyfer â'u gilydd. Canys y cyntaf sydd hallt a diffrwyth; ond yr un hynny o Tiberias yn groyw ac yn ffrwythlon. Y gwastadedd hwn sydd ddarostyngedig i wres llosgadwy yn yr haf; ac ar y cyfrif hwnnw mae yr awyr yn dra afiach. Y mae mewn diffyg o ddwfr, heblaw yr un hynny o afon yr Iorddonen. Pa ryw ddwfr yw yr achos fod y planfeydd o balmwydd, sydd yn agos i'w cheulenydd, mor flodeuog a ffrwythlawn; fel nad yw y rhai pell oddi yno yn gyffelyb iddynt.

Y mae ffynhonnell, pa fodd bynnag, wrth Jericho yn llawn o ffrwd-ddwfr, ac yn dra addas i ddwfrhau'r ddaear. Ei gyfodiad sydd agos i'r hen ddinas, yr hon a ddarfu i Joshua, pen cadflaenor yr Hebreaid, ei chymmeryd gyntaf o holl ddinasoedd gwlad Canaan, trwy gyfiawnder rhyfel. Y dywediad yw, i'r ffynnon yma, yn ei dechreuad, fod yn achos o ddiffrwythdra nid yn unig i'r ddaear a phrenian, ond hefyd i blant a enid o wragedd; a'i bod yn hollol o naturiaeth afiach a llygredig i bob peth, o ba ryw bynnag a fyddai: ond ddarfod ei gwneuthur yn dra iachus a ffrwythlon gan y prophwyd Eliseus. Y prophwyd hwn ydoedd dra chyfeillgar ag Elias, ac yn ddilynydd iddo. Yr hwn ag efe unwaith yn un o wahoddedigion y bobl yn Jericho, a gwŷr y ddinas wedi ymddwyn yn dra charuaidd tu ag atto, gwnaeth dâl iddynt am yr unrhyw, yn gystal a chymmwynas i'r wlad yn gyffredin o hir barhad. Canys efe a aeth allan o'r ddinas at y ffynhonell hon, ac a fwriodd iddi lestr pridd yn llawn halen. Yn ol hyn fe ddyrchafoddd ei law tua'r nefoedd, a chan dywallt allan ddiod-offrwm tyner, fe ‡ ymbiliodd y modd hwn: ar "Fod i'r ffrwd gael ei meddalhau neu ei thyneru; a gwythïen o ddwfr croyw gael ei hagor. Ar fod i Dduw hefyd ddwyn i'r lle ffrwd-ddwfr fwy tynerus a ffrwythlon; a bod iddo gyfranu i drigolion y wlad honno gyflawnder o ffrwythau'r ddaear, a dilyniad cenedlaethau o blant; ac na fethai y dwfr maethlon hwn fyth iddynt tra y parhaent yn gyfiawn." At y gweddïau hyn fe chwanegodd Elisëus briodol weithred-

* Neu Sichem.

† Pa un a ddylai y Somorrhon neu Somorrha hwn, gael ei ysgrifenu yma Gomorrha, fel yr arwydda rhai llaw-'sgrifenadau; (canys y lle a feddylir gan Josephus, a ymddengys ei fod yn agos i Segor neu Zoar, ar du deheuol y môr marw; yn agos i ba fan y safodd Sodom a Gomorrha;) nis gellir yn awr gyd â sicrwydd ei benderfynu: ond a ymddengus yn dra thebygol.

‡ Y weddi odiaethol hon o eiddo Eliseus sydd yn eisiau yn ein copiau ni o'r Hen Destament, 2 Bren. ii. 21, 22, er y cyfarwyddir hefyd atto yn y Gosodedigaethau Apostolaidd, VII. 37, a'r llwyddiant o hono a grybwyllir yn hlynt oll,

iadau ei ddwylaw mewn dull celfyddus, ac a gyfnewidiodd natur y ffynnon: a'r dwfr hwnnw ag a fu yn achos o ddiffrwythdra a newyn o'r blaen, wedi'r pryd hwnnw a ddiwallodd nifeiri o hiliogaeth, ac a barodd lawnder mawr yn y wlad. Yn ganlynol ei rinwedd sydd mor fawr wrth ddyfrhau'r ddaear, fel os bydd iddo ond unwaith gyffwrdd â gwlad, fe bar ffrwythau pereiddiach na dim dyfroedd eraill, trwy orwedd arnynt nes ymddigoni â hwynt. Am ba reswm y manteision a ennillir oddi wrth ddyfroedd ereill pan lifont yn helaethlawn, nid yw ond bychan; tra y mae yn tarddu yn fawr oddiwrth hwn, pan ffrydio hyd yn nod mewn mesur bychan. Yn ganlynol mae yn dwfrhau helaethach lle nag unrhyw ddyfroedd eraill; ac yn rhedeg trwy wastadedd o 70 ystadau o hyd, ac ugain o lêd: ar hyd pa leoedd y mae'n peri maeth i'r gerddi odiaethol hynny ag sydd yn dra aml o goed. Mae yn y wlad amryw fath o balmwydd a ddwfrheir ganddo, yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd o ran blas ac enw. Y rhyw oreu o honynt, pan wasgir hwynt, a bâr fêl tra rhagorol, heb fod lawer yn llai ei felysdra na mêl arall. Y wlad hon hefyd sydd ag ynddi lawer o fêl gwenyn. Y mae hefyd y balsam hwnnw, pa un yw'r gwerthfawroccaf o holl ffrwythau'r lle. Y cypreswydden hefyd, a'r rhai sydd yn dwyn myrobalanum. Felly ni byddai y sawl a gyfrifai y lle yma o drefniad dwyfol yn camsynied; yn yr hwn y mae'r fath amlder o goed yn tyfu, nad ydynt ond yn anaml i'w cael, ag sydd o ddefnydd mwyaf rhagorol. Ac yn wir os soniwn am ffrwythau eraill, nid hawdd yw cyfarfod ag un rhan o'r ddaear gyfanneddol yn addas i'w chydmaru â'r wlad hon; yn mha un, yr hyn a hauir a ddaw i fynu yn fath gludeirjau ffrwythlon. Yr achos o hono, fel yr ymddengys i mi, yw tymmerusrwydd yr awyr, a rhinwedd ffrwythlon y dyfroedd. Y cynnesrwydd sydd yn galw allan y blaendardd neu egin, ac yn gwneud iddynt ledu o amgylch, a'r lleithder yn peri i bob rhai o honynt wreiddio yn gadarn, ac yn cyfrannu iddynt y rhinwedd sydd yn angenrheidiol yn amser haf. Y pryd hynny y wlad hon a losgir i fynu yn y fath fodd, nad yw neb yn ewyllysio nesau iddi. Ac os cymmerir y dwfr i mewn cyn codiad haul, a'i roddi ar ol hynny tan yr awyr, y mae'n myned yn dra oeraidd, ac yn wrthwyneb i natur yr awyr gylchynol iddo; megis y mae drachefn yn troi yn dwymn yn y gauaf: ac os eir i mewn iddo fe'i teimlir yn dra chlaiar neu dyner. Yr awyr gylchynedig yma hefyd sydd mor dymherus, fel y mae pobl y wlad yn ymddilladu yn unig â lliain; hyd yn nod pan fyddo eira yn gorchuddio rhannau eraill Judea. Y lle hwn sydd yn gant a deg a deugain o stadau o Jerusalem; yn ddiffeithwch, ac yn dra charregog. Ond y parthau ag sydd mor bell a'r Iorddonen, a'r llynn Asphaltites, sydd yn gorwedd yn is, er ei fod yn anial ac yn gydradd ei ddiffrwythder. Ond cymmaint a hyn a gaiff wasanaethu am ddesgrifiad o Jericho, a hyfrydwch mawr ei sefyllfa.

Naturiaeth y llyn Asphaltites sydd hefyd yn werth ei ddescrifio. Y mae, fel y crybwyllais eisoes, yn chwerw ac yn ddiffrwyth. Y dwfr sydd mor dewed, ag y deil i fynu y peth trymaf a deflir iddo; ac nid yw yn hawdd gwneud i un peth suddo ynddo i'r gwaelodion, pan fyddai bwriad i wneuthur felly. Yn ganlynol pan aethpwyd i'w weled gan Vespasian, fe orchymynodd rwymo dwylaw rhyw rai na fedrai nofio y tu ol iddynt, a'u bwrw i'r dyfnder. Pan y digwyddodd felly ddarfod iddynt oll nofio, fel pe buasai rywbeth tanynt yn eu cadw ar y wyneb. Newidiad lliw y llyn yma sydd ryfeddol hefyd; canys y mae 'n cyfnewid ei ymddangosiad deirgwaith yn feunyddiol. Ac fel y mae pelyderau 'r haul yn disgyn mewn amryw wedd arno, y goleuni sy'n amrywio yn yr adlewyrchiad. Pa fodd bynnag, y mae 'n bwrw i fynu dywyrch duon a chleilyd mewn amryw fannau o hono. Y rhai hyn a nofiant ar wyneb y dwfr, ac sydd debyg mewn llun a maintioli i deirw heb bennau ganddynt. A phan ddel y gweithwyr sydd yn perthyn i'r llyn yn agos attynt, ac yn gafaelu ynddynt pan y maent ynglŷn â'u gilydd, y maent yn eu tynnu i mewn i'w llongau. Ond pan lenwir y llong, nid yw hawdd torri y lleill ymaith: canys y mae mor wydn ag y gwna i'r llong lynu wrth y tywyrch, nes ei rhyddhau â gwaed a golch, i'r hyn yn unig y mae 'n ymroi neu ymollwng. Y clai hwn sydd yn fuddiol nid yn unig i ddiddosi llongau, ond i iachau cyrph dynion: yn ganlynol fe'i cymmysgir â llawer math o gyffuriau. Hyd y llyn hwn sydd yn bum cant a phedwar ugain o

stadau, yn ol ei gyrhaeddiad at Zoar yn Arabia; a'i led sydd yn gant a hanner. Gwlad Sodom a derfyna arno ef; yr hon gynt ydoedd dir mwyaf dedwyddol, yn gystal o ran ei ffrwythlondeb, a chyfoethogrwydd y dinasoedd; er ei fod yn awr wedi ei losgi oll i fynu. Fe ddywedir mai am annuwioldeb ei drigolion, y cafoddei losgi i fynu gan fellt. O ganlyniad y mae etto yn aros weddillion y tân dwyfol, ac ol y pum dinas i'w weled, yn gystal a'r lludw sydd yn tyfu yn ei ffrwythau: pa ryw ffrwythau sydd â'r fath liw arnynt a phe byddent gymmwys i'w bwytta: ond os tynnir hwynt â llaw o'r man y tyfant, y maent yn diflannu yn fwg ac yn lludw. A'r hyn a adroddir y modd yma am dir Sodom, sydd ag iddo 'r nodau hyn o grediniaeth ag a ganiatteir gan ein golwg.

## PENNOD IX.

*Vespasian, wedi darostwng Gadara, yn gwneuthur parottoad i'r cynllwyn ar Jerusalem; ond wrth glywed am farwolaeth Nero yn cyfnewid ei fwriadau. Hefyd y'mherthynas i Simon o Gerasa.*

YN awr Vespasian a amddiffynasai yr holl fannau o amgylch Jerusalem, ac a adeiladodd dŷrau yn Jericho ac Adida, gan ddodi gwersylloedd ynddynt bob un, mewn rhan rai allan o'i Rufeinwyr ei hun, a'r rhan arall o gorph ei filwyr cynnorthwyol. Efe hefyd a ddanfonodd Licius Annius i Gerasa, gan roddi atto gorph o wŷr meirch, a nifer helaeth o wŷr traed. Felly wedi iddo gymmeryd y ddinas, yr hyn a wnaeth ar yr ymosodiad cyntaf, fe laddodd fil o'r gwŷr ieuaingc na ffoesant ymaith cyn ei ddyfodiad. Ond fe gymmerodd eu teuluoedd yn gaethion, ac a ganiattaodd i'w filwyr wneud anrhaith o'u heiddo. Ar ol hyn fe osododd eu tai ar dân, ac a aeth ymaith i'r pentrefi cymmydogaethol; pan y darfu i'r gwŷr cedyrn ffoi ymaith, a'r rhai gweiniaid gael eu difetha; a'r hyn a adawyd o'r adeiladau a losgwyd oll i lawr. Ac yn awr wedi i'r rhyfel fyned trwy yr holl wlad fynyddig, a gwlad y gwastadedd hefyd, y rhai oedd yn Jerusalem a ddifuddiwyd oddi wrth fyned allan o'r ddinas. Canys y cyfryw ag a ewyllysient ddiangc a wyliwyd arnynt gan y brwdfrydwyr. Ac am y rhai nad oeddynt etto o du y Rhufeiniaid; eu byddin a'u cadwasant i mewn, trwy amgylchynu 'r ddinas ar bob rhyw ochr iddi.

Yn awr wedi dychwelyd Vespasian i Cæsarea, ac yn parottoi gyd â'i holl fyddin yn uniongyrch i fyned i Ierusalem, daeth hyspysrwydd iddo am farwolaeth Nero; * wedi iddo deyrnasu tair blynedd ar ddeg ac wyth o ddiwrnodiau. Ond am yr hanes pa ddull y cam-arferodd ei awdurdod yn y llywodraeth, ac y gorchymynodd ofal yr achos cyffredin i'r ddau ddyn drygionus Nymphidius a Tigellinus, ei anheilwng wŷr rhyddion; a'r modd y gosodwyd bradwriaeth yn ei erbyn ganddynt hwy, wedi ei adael gan ei holl warchawdlu, ac y ffodd ymaith gyd â phedwar o'i wŷr rhyddion ffyddlonaf, ac y lladdodd ei hun ym maesdref Rhufain: ac fel y darfu i'r rhai a fu'n achos o'i farwolaeth, cyn nemmor o amser, ddwyn eu hunain tan gospedigaeth: y modd hefyd y terfynodd y rhyfel yn Gaul; ac fel y gwnaed Galla yn ymerawdwr, ac y dychwelodd o'r Hispaen i Rufain: a'r modd y cyhuddwyd ef gan y milwyr fel un llwfr a digalon; ac y lladdwyd ef trwy fradwriaeth, ynghanol y farchnadfa yn Rhufain, ac y gwnaed Otho yn ymerawdwr, gyd â'i ymgyrch yn erbyn blaenoriaid Vitellius, a'i ddinystr trwy hynny: ac heblaw hyn pa gynnifer o flinderau a ddigwyddodd tan Vitellius, a'r ymladdfa a fu o amgylch y cabidyldy; ac hefyd fel y darfu i Antonius Primus a Mucianus ladd Vitellius, a'i lengau o wŷr o Ellmyn, ac wrth hynny a roesant derfyn ar y rhyfel cartrefol hwnnw: mi a adewais heibio roddi un cyfrif neillduol o honynt, o herwydd y gwybyddir yn dda gan lawer am danynt, ac a ddescrifir gan amryw awdwyr Groegaidd a Rhufeinaidd. Etto er mwyn cyssoni pethau â'u gilydd, ac fel na b'o cloffni yn fy hanes, mi gyffyrddais yn fyr â'r amrywiol bethau hyn. O herwydd pa ham Vespasian a ddododd heibio ar y cyntaf ei ymgyrch yn erbyn Jerusalem, ac a arhosodd i wybod pa le y symmudid yr ymerodraeth ar ol marwolaeth Nero. Ac ar ol clywed o hono fod Galba wedi ei wneud yn ymerawdwr, ni wnaeth unrhyw gynhygiad mwy i fyned ym mlaen â'r rhyfel, nes y derbyniai gyfarwyddyd o Rufain pa fodd i ymddwyn yn Judea. Ac yn y cyfamser fe ddanfonodd ei

* B. A. 68.

fab Titus i gyfarch yr ymerawdwr newydd, ac i dderbyn ei orchymmyn yn nghylch yr Iuddewon. Ar yr unrhyw neges yr hwyliodd y brenin Agrippa ymaith gyd â Titus at Galba; ond fel yr oeddynt yn mordwyo yn eu llongau hirion yn nhueddau Achaia, (canys amser gauaf ydoedd,) hwy a glywsant fod Galba wedi ei ladd cyn iddynt allu cyrraedd atto ef: wedi iddo deyrnasu saith o fisoedd, a chynnifer o ddyddiau: ar ol yr hwn y cymmerodd Otho y llywodraeth, ac yr aeth tan drefniad achosion cyhoeddus yr ymerodraeth. Felly Agrippa a ymroddodd i fyned yn mlaen i Rufain, heb ddychrynu dim ar gyfrif y cyfnewid yno. Ond Titus, wrth drefniad dwyfol, a fordwyodd yn ol o Groeg i Syria, ac a ddaeth gyd â brys mawr i Cæsarea at ei dad. Ac yn awr yr oeddynt bob un tan amheuaeth yn mherthynas i'r achos cyhoeddus, trwy fod yr ymerodraeth Rufeinig y pryd hynny mewn amgylchiad ansafadwy; fel nad aethant yn awr yn mlaen a'u hymgyrch yn erbyn yr Iuddewon: ond a dybiasant fod gwneud un ymosodiad ar genedl ddieithrol yn awr yn anmhrydlon.

Ac yn awr fe gyfododd rhyfel arall yn Jerusalem. Yr ydoedd mab i Gïora, un Simon, trwy enedigaeth o Gerasa, gwr ieuangc; heb fod mor ddichellgar a chyfrwysddrwg yn wir a Ioan o Gischala; yr hwn eisoes a oresgynasai'r ddinas; ond yn rhagori arno mewn cryfdwr corphorol, a chalondid. Ar ba gyfrif wedi ei yrru ymaith o dalaith Acrabattene, yr hon unwaith a feddiannodd, gan Ananus yr archoffeiriad; fe ddaeth at yr yspeilwyr hynny a oresgynasant Massada. Ar y cyntaf yr oeddynt mewn amheuaeth o hono: ac a ganiattasant yn unig iddo ddyfod i gyrrau isaf yr amddiffynfa, yn nghyd â'r merched a ddygasai gyd ag ef, pan oeddynt eu hunain yn byw yn y parthau uchaf. Pa fodd bynnag ei ymddygiadau oedd yn cyttuno mor dda a'r eiddynt hwy, ac yntau yn ymddangos yn ddyn y gellid hyderu arno, cafodd fyned allan gyd â hwynt, gan ddifrodi a difetha'r wlad o amgylch Massada. Etto pan berswadiodd hwynt i anturio pethau mwy, ni allai eu perswadio i wneuthur hynny. Canys fel yr oeddynt hwy wedi arfer gwneud yn dda yn eu twr, yr oeddynt yn ofni myned yn mhell o'r lle ag oedd yn ymguddfa iddynt; ond ag efe yn chwannog i orthrymmu, ac yn hoffi blaenoriaeth, wedi clywed o hono am farwolaeth Ananus, fe'u gadawodd hwynt, ac a aeth i barthau mynyddig y wlad. Felly fe gyhoeddodd ryddid i'r rhai oedd mewn caethiwed, a gwobr i'r rhai oedd eisoes yn rhyddion, ac a gafodd yn nghyd gynnulliad o ddrwg-ddynion o bob parth.

Ac fel yr oedd ganddo yn awr gorph cadarn o ddynion o'i amgylch, fe ddifrododd y pentrefydd oedd yn gorwedd yn y mynydd-dir; a phan y daeth fwyfwy o rai eraill atto ef, fe anturiodd fyned i wared i barthau isaf y wlad: ac wedi ei ddyfod yn awr mor alluog i gymmeryd y dinasoedd, llawer o'r gwŷr penaf a hudwyd ganddo ef; fel nad oedd ei fyddin mwy yn gyfansoddedig o gaethion ac yspeilwyr, ond llawer o'r werin-bobl a ufuddhausant iddo megis i'w brenin. Yna fe oresgynodd ardal Acrabattene, a'r lleoedd a gyrhaeddai mor bell ag Idumea fwyaf. Canys efe a adeiladodd fur mewn rhyw faesdref a elwid * Nain, ac a ddefnyddiodd honno yn amddiffynfa er diogelwch i'w blaid ei hun: ac yn y dyffryn a elwid Pharau, fe ehangodd lawer ar yr ogofeydd; a llawer eraill a gafodd yn barod at ei amcan: y rhai hyn a ddefnyddiodd yn ystôr-dai i'w drysorau, a derbynfa ei yspail: ac yno y gosodai i fynu y ffrwythau a gafodd trwy anrhaith; a llawer o'i blaid a wnaent eu trigfa ynddynt: ac ni chadwodd yn ddirgel ei fod yn arfer ei ddynion i hyn ym mlaen llaw; a'i fod yn gwneud parottoad i ymosod ar Jerusalem.

Ar hyn y brwd-frydwyr, o herwydd yr ofn yr oeddynt ynddo rhag ymosod arnynt ganddo ef; a chan ewyllysio rhagflaenu un ag oedd yn tyfu i fynu i'w gwrthwynebu hwynt, a aethant allan â'u harfau yn ei erbyn. Simon a gyfarfyddodd â hwynt; ac wedi ymgyssylltu mewn brwydr, â nifer helaeth o honynt, ac a yrrodd y lleill o'i flaen i'r ddinas: ond ni allai hyderu cymmaint ar ei gadernid ag i wneud ymosodiad ar y muriau: ond fe benderfynodd yn gyntaf ddarostwng Idumea. Ac fel yr oedd ganddo yn awr ugain mil o wŷr arfog, fe wnaeth ymgyrch tu a chyffiniau y wlâd. Ar hyn llywodraethwyr yr Idumeaid a gasglasant ar *fyr* yngbyd, y rhan fwyaf rhyfelgar o'u pobl, yng-

* Neu Ain.

hylch pum'mil ar hugain mewn nifer; gan adael y lleill yn warcheidwaid i'w gwlad eu hunain; o herwydd y rhuthrau a wnaed gan y Sicarii oedd ym Massada. Fel hyn y gwnaethant dderbyniad o Simon ar eu terfynau; pa fan yr ymladdasant ag ef, ac a barhausant i ymladd trwy 'r holl ddydd hwnnw: a'r ddadl oedd yn aros, pa un a orchfygasent hwy ef, neu efe eu gorchfygu hwynt. Felly efe a aeth yn ol i Nain: megis y dychwelodd yr Idumeaid hwythau i'w preswylfeydd. Ac nid hir y bu nes i Simon ddyfod drachefn gyd â chadernid mawr ar warthaf eu gwlad. Pan y gwersyllodd yn rhyw bentref a elwid Thecoë: ac a ddanfonodd Eleazar, un o'i flaenoriaid, at y rhai oedd yn cadw gwersyllfa yn Herodium; ac mewn trefn i'w perswadio i roddi'r amddiffynfa honno i fynu iddo ef. Y gwersyllwyr a dderbyniodd y gwŷr hyn gyd â pharodrwydd, pan na's gwyddent pa beth yr oedd wedi dyfod yn ei gylch. Ond cyn gynted ag y soniodd am iddynt roddi'r lle i fynu, hwy a syrthiasant arno â'u cleddyfau noethion, nes canfod o hono nad oedd ganddo un lle i ddiangc. Efe gan hynny a fwriodd ei hun i lawr oddiar y mûr i'r dwfn-bant oedd gerllaw, ac a fu farw yn union-gyrch. Ond yr Idumeaid y rhai oedd eisoes mewn ofn o gadernid Simon, a dybiasant yn gymmwys gymmeryd golwg ar fyddin y gelyn, cyn anturio ymladd drachefn ag ef.

Yn awr, yr oedd un o'n blaenoriaid a gyfenwid Jacob, yr hwn a gynhygiodd ei wasanaeth iddynt gyd â pharodrwydd ar yr achos hwnnw: ond ei fwriad ydoedd eu bradychu hwynt. Efe a aeth, gan hynny, o'r pentref Alurus, lle'r oedd byddin yr Idumeaid wedi ymgasglu ynghyd, ac a ddaeth at Simon; ac ar yr ymddiddan cyntaf fe gyttunodd i fradychu ei wlâd iddo; a chafodd sicrwydd trwy lŵ ganddo, yr anrhydeddai ef; ac yntau a addawodd ei gynnorthwyo i ddarostwng holl Idumea. Ar ba gyfrif y gwleddwyd ef gan Simon, ac fe ymdderchafwyd trwy ei addewidion mawrion. Ac wedi dychwelyd at ei wŷr ei hun, dywedodd anwir ar y cyntaf wrthynt am fyddin Simon, sef ei bod yn llawer mwy lliosog nag ydoedd. Ar ol hyn efe gyd â deheudra a berswadiodd y blaenoriaid, ac yn raddol yr holl liaws, i wneud derbyniad o Simon, a rhoddi i fynu y llywodraeth oll iddo ef heb ymladd. Ac fel yr oedd yn gwneuthur hyn, fe wahoddodd Simon trwy negeseuwyr; gan addaw gwasgaru 'r Idumeaid, yr hyn a wnaeth efe hefyd. Canys cyn gynted ag y daeth y fyddin yn agos attynt, efe yn gyntaf un a aeth ar ei farch ac a ffodd, ynghyd â'r rhai a hudwyd ganddo. Wrth hyn fe syrthiodd dychryn ar yr holl liaws; a chyn eu dyfod i ymladdfa agos, hwy a dorrasant eu rhesau, a phob un a ddychwelodd i'w gartref ei hun.

Fel hyn y gwnaeth Simon yn annisgwyladwy ymgyrch i Idumea, heb dywallt gwaed; gan wneud ymosodiad disymmwth ar y ddinas Hebron, a'i chymmeryd hi: trwy'r hyn y meddianodd lawer o ysglyfaeth, ac a'i hanrheithiodd o fesur mawr o ffrwythau. Yn awr pobl y wlad a ddywedant mai y ddinas hynaf ydoedd, nid yn unig yn y wlad honno, ond na'r * Memphis honno yn yr Aipht: ac yn ganlynol ei hoed a gyfrifir yn ddwy fil a thri chant o flynyddau. Adroddant hefyd ddarfod i Abraham, cyn-dad yr Iuddewon, drigo ynddi ar ol iddo ymsymmud o Mesopotamia; ac i'w hiliogaeth ddisgyn oddiyno i'r Aipht. Beddfeini pa rai hyd y dydd hwn a ganfyddir yn y ddinas fechan honno; defnydd ei hadeilad sydd o faen mynor mwyaf odiaethol, ac wedi ei gweithio yn y modd cywreiniaf. Y mae hefyd i'w weled yno, mewn pellder o chwech o 'stadau oddiwrth y ddinas, bren † turpentin o faintioli mawr; ac adroddir fod hwn wedi sefyll er creadigaeth y byd. Oddi yno yr aeth Simon yn mlaen yn ei ymgyrch tros holl Idumea: ac a ddifrododd nid yn unig y dinasoedd a'r pentrefydd, ond a anrheithiodd yr holl wlad. Canys heblaw y rhai oeddynt mewn cyflawn arfogaeth, yr oedd ganddo ddeugain mil o bobl yn ei ganlyn, yn gymmaint nad oedd lluniaeth yn ddigonol i gynnal y fath liaws. Yn awr, heblaw y diffyg hwn o ymborth, yr oedd efe yn un o dymmer farbaraidd, ac yn dwyn casineb mawr at y genedl hon; trwy ba foddion y daeth o amgylch, ddarfod i raddau ddiboblogi Idumea: ac fel y gallai un weled yr holl goedwig y tu ol iddi wedi ei llwmhau o ddail gan y locustiaid, ar ol eu bod hwy

* Tanis neu Zoan. Hynaf. I. 8 Num. xiii. 22.

† Rhai o'r henafiaid a alwant y pren hynod yma, neu lwyn, yn dderwen; eraill yn bren turpentin, neu lwyn. Yr ydoedd yn drâ hynodfawr yn yr oesoedd a aethant heibio; ac y mae felly fel y tybiaf, yn bresennol: a hynny yn enwedigol, ar gyfrif cyfarfod marsiandwyr yno bob blwyddyn, fel yr hyspysa trafaelwyr i ni.

yno: felly ni adawyd dim wedi ymadawiad byddin Simon, ond diffeithwch. Rhai mannau a losgasant i lawr; eraill a ddadymchwelasant: a pha beth bynnag a dyfai yn y wlad, hwy a'i sathrent i lawr neu a ymborthent arno: ac wrth fyned rhagddynt trwy'r wlad, hwy a wnaethant y ddaear a lafurid yn galettach, ac yn anhaws ei thrin nag o'r blaen. Yn fyr, nid oedd un arwydd yn ymddangos yn y lleoedd a ddifrodasent, i fod neb rhyw greaduriaid byw yn aros ynddynt.

Y llwyddiant hwn o'r eiddo Simon a barodd gynnwrf newydd ym mysg y brwdfrydwyr. Ac er eu bod yn ofni ymladd ag ef yn gyhoeddus mewn brwydr, etto hwy a osodasant gynllwynion ar y ffyrdd, ac a oresgynasant ei wraig, gyd â nifer mawr o'i gwarcheidwaid: trwy'r hyn y daethant yn ol i'r ddinas gan orfoleddu, fel pe buasent wedi cymmeryd Simon ei hun yn gaethwas: ac a oeddynt tan ddisgwyliad y dodai ei arfau i lawr, ac y gwnai erfyniad attynt hwy am ei wraig. Ond yn lle cynnwys serch trugarog, fe dyfodd yn dra digllon wrthynt am oddiweddu ei anwyl wraig. Felly fe nesâodd at fur Jerusalem, ac fel anifeiliaid gwylltion pan glwyfir hwynt, a phryd nas gallont orddiwes y rhai a'u briwasant, fe dywalltodd ei lid ar y rhai a gyfarfyddai â hwynt. Yn ganlynol fe ddaliodd y rhai oll a ddeuent allan o byrth y ddinas, i gasglu llysiau neu friwydd, y rhai ydoedd yn anarfog, ac yn oedranus: yna fe'u harteithiodd ac a'u lladdodd, oblegid y cynddaredd difesur yr ydoedd ynddo; a phrin y peidiai a difetha eu cnawd wedi eu meirw hwynt. Torrodd ymaith hefyd ddwylaw llawer, ac a'u danfonodd i'r ddinas i ddychrynu ei elynion, ac mewn trefn i beri i'r bobl syrthio i ymraniadau, ac ymadael a'r rhai a barasant oresgyniad ei wraig. Rhoddodd hefyd orchymmyn iddynt i fynegi i'r bobl, fod Simon yn tyngu trwy Dduw'r greadigaeth, mai oddi eithr iddynt adferyd iddo ei wraig, y torrai i lawr eu mur, ac y gosodai y cyffelyb gospedigaeth ar yr holl ddinasyddion, heb arbed un oedran, ac heb wneuthur dim gwahaniaeth rhwng yr euog a'r diniweid. Y bygythion hyn a ddychrynodd mor fawr, nid pobl y ddinas yn unig, ond y brwdfrydwyr eu hunain, fel y danfonasant ei wraig yn ol iddo ef, trwy'r hyn y daeth ychydig yn llarieiddiach, ac a adawodd heibio barhaus dywalltiad gwaed megis o'r blaen.

Ond ymraniadau a rhyfel cartrefol a orfyddodd, nid yn unig dros Judea, ond yn yr Ital hefyd. Canys yn awr Galba a laddwyd yngnghanol y farchnadfa. Yna y gwnaethpwyd Otho yn ymerawdwr, ac a ymladdodd yn erbyn Vitellius, yr hwn hefyd a ymosododd i fynu am yr ymerodraeth: canys y llengau yn yr Almaen a wnaethant ddewisiad o hono ef. Ond aeth i frwydr â Valens a Ceciana, y rhai oeddynt gad-flaenoriaid Vitellius, wrth Betriacum, yn Gaul, Otho a gafodd y fantais y dydd cyntaf: ond yr ail ddydd milwyr Vitellius a gafodd y fuddugoliaeth. Ac ar ol laddfa fawr, Otho a laddodd ei hun, pan glybu am y golled hon yn Brixia; ar ol iddo flaenori ynhrefniadau 'r llywodraeth,* dri mis a dau o ddyddiau. † Byddin Otho hefyd a ddaeth trosodd at gad-flaenoriaid Vitellius; ac efe ei hun a ddaeth i wared i Rufain gyd â'i fyddin. Ond yn y cyfamser Vespasian a symmudodd o Cesarea, ar y pummed dydd o'r mis Desius, neu Sivan, ac a aeth rhagddo yn erbyn y lleoedd hynny o Judea oedd yn aros heb eu dadymchwelyd. Felly fe aeth i fynu i'r mynydd-dir, a chymmerodd ddwy o ardaloedd, a elwid Gophnitic ac Acrabattene. Ar ol pa rai y cymmerodd Bethel ac ‡ Ephraim, dwy o ddinasoedd bychain. Ac ar ol dodi gwersylloedd ynddynt, fe farchogodd cyn belled a Jerusalem: ym mha daith fe gymmerodd amryw yn garcharorion, a llawer yn gaeth-weision. Ond Cerealis, un o'i flaenoriaid, a gymmerodd gorph o wŷr meirch a gwŷr traed, ac a osododd yn ddifrod y rhan hynny o Idumea, a elwid Idumea uchaf: a gwnaeth ymosodiad ar Caphethra, yr hon a alwai ei hun yn ddinas fechan; a chymmerodd hi ar yr ymosodiad cyntaf, ac a'i llosgodd i lawr. Goddiweddodd hefyd Capharabim, gan osod cynllwyn iddi, canys yr oedd yno fur cadarn. Ac wedi disgwyl treulio hir amser yn y cynllwyn hwnnw, y rhai oedd oddi mewn a agorasant eu pyrth yn ddisymmwth, gan ddyfod i ofyn maddeuant ac i roddi eu hunain i fynu iddo. Wedi i Cerealis

* Suetonius sydd yn gwahaniaethu ynagos i dri o ddyddiau oddiwrth Josephus, gan ddywedyd i Otho ddifetha ei hun ar y 95 dydd o'i deyrnasiad. Gwel y nod ar pen. 11.

† B. A. 69.

‡ Gwel Ioan xi. 54.

fuddugoliaethu yn y lle hwn, fe aeth ymaith i Hebron, dinas hynafiaethol arall, a'i sefyllfa yn y mynydd-dir, heb fod ym mhell o Jerusalem. Ac wedi iddo trwy drais dorri i mewn i'r ddinas, y lliaws o wŷr ieuaingc a adawsid ynddi efe a'u lladdodd hwynt, ac a losgodd i lawr y ddinas. Felly yn awr yr holl leoedd a gymmerasid, oddigerth Herodium, Massada, a Macherus, y rhai oedd ym meddiant yr yspeilwyr; felly Jerusalem yn awr oedd y lle ag oedd y Rhufeiniaid yn cyfeirio atti yn fwyaf enwedigol.

Yn awr mor gynted ag y cafodd Simon ei wraig wedi ei rhyddhau, a'i hadferyd o feddiant y brwd-frydwyr, fe ddychwelodd yn ol at y gweddillion o Idumea: a chan yrru y genedl o'i flaen o bob parth, fe gymhellodd nifer fawr o honynt i fyned ymaith i Jerusalem. Fe'u canlynodd hwynt ei hunan hefyd hyd at y ddinas, ac a amgylchodd yr holl fur drachefn. A phan gyfarfyddai â neb rhyw lafurwyr a fyddent yn dyfod yno o'r wlad, efe a'u lladdai hwynt. Yn awr y Simon hwn, ag a safai y tu allan i'r mur, oedd yn fwy o ddychryn i'r bobl na'r Rhufeiniaid eu hunain; megis yr oedd y brwd-frydwyr y tu fewn iddo yn drymach poenwr iddynt na'r lleill yn nghyd. Ac yn oed yr amser hwn y darfu i ddrwg-ddyfais a dewrder Ioan, beri iddo ymddyrchafu yn fawr, a llygru y corph * o Galileaid.

Canys y Galileaid hynny a ddyrchafasent Ioan, ac a'i gwnaethent yn dra awdurdodol; yr hwn a dalodd iddynt yn helaethlawn, trwy'r gallu ag oedd yn ei feddiant; ac efe a ganiattai iddynt wneuthur pob peth megis yr ewyllysient; pan ydoedd eu tueddiad at yspail yn gyfryw na's gellid ei ddigoni, a'u hawyddfryd i chwilio tai y cyfoethogion. Ac ymherthynas i ladd dynion, a halogi merched a gwragedd, yr ydoedd yn ddifyrwch iddynt. Hwy hefyd a ddifaent y creaduriaid a gymmerent yn yspail, ynghyd â'u gwaed: a chynhwysent eu hunain mewn ymarferiad o nwyfiant menywaidd, heb neb i'w lluddias, nes eu llenwi â hynny. Pan blethent eu gwallt, ac yr ymwisgent mewn dillad merched, wedi ymiro eu hunain ag enaint. Ac fel yr ymddangosent â thegwch wynebpryd; dodent liw gwneuthuredig arnynt, yn enwedig o amgylch eu golygon; ac yr oeddynt yn euog o'r fath aflendid anoddefol, fel ag y dyfeisiasant bleserau anghyfreithlon, gan ymdreiglo i fynu ac i wared ar hyd y ddinas, megis mewn putteindŷ; a'i halogi yn gyfangwbl â'u hammhûr weithredoedd. Ië, pan ymddangosai eu hwynebpryd yn debyg i wynebau merched, hwy a laddent â'u dwylo dehau; a phan fyddai eu hagwedd yn ferchedaidd, hwy yn ddisymmwth a oddiweddent ddynion, ac a ddeuent yn rhyfelwyr; gan dynnu allan eu cleddyfau o dan eu cochl deg, symmudliw, ac a redent bawb a gyfarfyddai â hwynt. Pa fodd bynnag Simon a wyliai am y rhai a redent ymaith oddiwrth Ioan, ac ydoedd, o'r ddau, yn fwyaf gwaedlyd. A'r rhai a ddiangent oddiar y gorthrymwr o fewn i'r muriau, a ddifethid gan un arall o'r tu allan i'r pyrth. Felly yr oedd pob ymgais o gilio at y Rhufeiniaid wedi ei dorri ymaith, yn mherthynas i'r rhai a'i hewyllysient.

Er hyn darfu i'r fyddin dan Ioan gyfodi terfysg yn ei erbyn; a'r holl Idumeaid a ymneillduasant eu hunain oddiwrth y gorthrymwr, a cheisiasant ei ddifetha ef: a hyn o herwydd cenfigenu wrth ei awdurdod, a chasineb at ei greulondeb. Felly hwy a ymgasglasant ynghyd, ac a laddasant lawer o'r brwd-frydwyr; ac a yrrasant y lleill o'u blaen i'r brenhindy a adeiladwyd gan Grapte yr hwn oedd berthynas i † Izates, brenin Adiabene. Yr Idumeaid a gwympasant i mewn gyd ag ef; ac a yrrasant y brwdfrydwyr allan oddi yno i'r deml, ac a ymwnaethant i yspeilio Ioan o'i feddiannau: canys yr oedd efe ei hun yn y palas hwnnw; ac yno y gosodasai 'r yspail a gawsai trwy orthrymmu. Yn y cyfamser y lliaws brwdfrydwyr a wasgarasant tros y ddinas a redasant ynghyd i'r deml at y rhai a ffoesant yno: a pharottôdd Ioan i'w dwyn i wared drachefn yn erbyn y bobl, a'r Idumeaid: y rhai nid oeddynt mewn cymmaint ofn o gael eu goddiweddu ganddynt, o herwydd eu bod eu hunain yn gyfarwyddach milwyr na hwynt hwy yn eu gwallgofrwydd. A rhag rhuthro o honynt yn ddirgel allan o'r deml, a dyfod i'w plith hwynt; ac nid yn unig eu lladd, ond gosod y ddinas hefyd ar dân; hwy a ymgasglasant eu hunain ynghyd, a'r archoffeiriaid gyd â hwynt, gan ymgynghori â'u gilydd pa fodd y gochelent ymosodiad oddi

* Y rhai a ddaethent o Galilea gyd â Ioan o Gischala.

† Hynaf. xx. 2.

wrthynt. Yn awr, Duw oedd yr hwn a dueddodd eu tybiau at yr hyn oedd waethaf; trwy'r hyn y dychymmygasant y fath feddyginiaeth i'w rhyddhau eu hunain ag oedd yn waeth na'r clwyf. Yn ganlynol mewn trefn i ddadymchwel Ioan, hwy a benderfynasant wneud derbyniad o Simon: gan daer chwennychu derbyn ail orthrymwr i'r ddinas. Y cyngor hwn a ddygasant i berffeithrwydd, ac a ddanfonasant Matthias yr archoffeiriad, i attolygu ar Simon i ddyfod i mewn attynt, o'r hwn y buasent gynnifer o weithiau mewn ofn. Y rhai hefyd a ffoesent oddiwrth y brwd-frydwyr yn Jerusalem a unasant â'r gofyniad hwn, oddiar y dymuniad oedd ganddynt i achub eu tai, a'u meddiannau. Yn ganlynol efe, mewn dull trahaus, a ganiattaodd iddynt ei amddiffyn arglwyddiaethol; ac a ddaeth i mewn i'r ddinas, mewn trefn i'w gwaredu rhag y brwd-frydwyr. Y bobl hefyd a wnaethant floddest o lawenydd iddo, fel eu gwaredwr a'u ceidwad. Ond pan ddaeth i mewn gyd â'i fyddin, fe gymmerodd ofal i sefydlu ei awdurdod ei hun: gan edrych ar y rhai a'i gwahoddasai yn ddim gwell na'i elynion; ac na'r rhai hynny yn erbyn pa rai y danfonasid y gwahoddiad atto.

Ac fel hyn y darfu i Simon gael meddiant o Jerusalem, yn y drydedd flwyddyn o'r rhyfel, ar y mis Xanthicus, neu Nisan. Ar hyn Ioan, gyd â'i liaws o frwd-frydwyr, megis wedi eu gwahardd i ddyfod allan o'r deml, ac wedi colli eu hawdurdod yn y ddinas, (canys Simon a'i fyddin a'u hyspeiliasai o'r hyn oedd ganddynt,) oeddynt mewn anobaith am ymwared. Simon hefyd a wnaeth ymosodiad ar y deml, gyd â chynnorthwy'r bobl; tra'r oedd y lleill yn sefyll ar nen y 'stefyll-dai, a'r mur ganllawiau, ac yn eu hymddiffyn eu hunain yn erbyn eu hymosodiad. Pa fodd bynnag nifer nid bychan o blaid Simon a syrthiasant, a llawer a ddygwyd ymaith yn archolledig. Canys y brwd-frydwyr a fwriasant eu piccellau gyd ag esmwythder arnynt oddiar oruwch lle, ac anaml y methent eu hergydiau ar eu gelynion. Ond â chanddynt ragoriaeth sefyllfa; ac wedi iddynt gyd â'r cwbl adeiladu pedwar o dyrau helaeth ym mlaen llaw, fel y disgynai eu saethau o leoedd goruwch eraill; un ar ddwyrain ogledd gongl y cyntedd; un uwchlaw y Xystus; y trydydd ar gongl arall gyferbyn â'r îs-ddinas; a'r diweddaf a adeiladwyd uwchlaw brig y Partophoria: lle y safai un o'r offeiriaid yn ei gylch, ac a roddai * arwydd blaenllaw, âg udgorn, o ddechreuad pob seithfed dydd, ar dywylliad y noswyll; megis hefyd yn yr hwyr ar ddiweddiad y dydd hwnnw: megis yn rhybuddio'r bobl pa bryd y byddent i adael heibio eu gorchwylion; a phan fyddent i ddechreu ar y gwaith drachefn. Y gwŷr hyn hefyd a osodasant yr offerynnau â pha rai yr ergydient gerrig oddiar y tyrau hynny gan eu saethyddion a'u hergydwyr. Ac yn awr Simon a ymosododd yn fwy egwan ar y deml, ar gyfrif fod y rhan fwyaf o'i wŷr wedi blino ar y gwaith hwnnw. Etto ni roddodd heibio eu haflonyddu; o herwydd fod ei fyddin yn rhagori ar y lleill: er darfod i'r piccellau a deflid gan y peiriannau gyrraedd yn bell o ffordd, a lladd amryw ag oedd yn ymladd trosto ef.

## PENNOD X.

*Am ddyrchafiad Vespasian i'r ymerodraeth Rufeinig, a rhyddhad Josephus o'i rwymau.*

YNGHYLCH yr amser hwn blinderau trymion a ddigwyddodd o amgylch Rhufain o bob tu. Canys Vittellius a ddaethai o'r Almaen, â'i filwriaeth; ac a dynnodd gyd âg ef liaws mawr o ddynion eraill hefyd. A phryd yr oedd y sefyllfaoedd a drefnid i'r milwyr yn gallu eu cynnwys hwynt, gwnaeth holl Rufain iddo yn wersyllfa, ac a lanwodd yr anneddau yn gwbl o wŷr arfog. Pa ryw arfogion wedi canfod cyfoeth Rhufain, â'r llygaid na welsent y fath wychder o'r blaen; a chael eu hunain â'r cyfryw o'u hamgylch ag oedd yn llawn aur ac arian, cawsant waith nid bychan i attal eu tueddiadau cybyddus; ond a oeddynt yn barod i yspeilio a lladd pawb a safent ar eu ffordd. A thyma oedd amgylchiad pethau yn yr Ital y pryd hwn.

Ond wedi i Vespasian ddadymchwel yr holl fannau o amgylch Jerusalem, fe ddychwelodd i Cæsarea, a chlybu am y blinderau oedd yn

* Y dechreu a'r diwedd hwn o'r seithfed dydd Iuddewig, neu'r Sabboth, trwy chwythiad uchel mewn udgorn, sydd hynod, ac ni chrybwyllir yn un lle arall ar a wn i am dano: ac nid yw dychymmyg Reland yma yn anhebyg, mai hwn oedd yr unig le a barodd ddyryswch i'n hesponwyr cyhyd o amser, a elwid y Musach Sabboth, "dirgelfa'r Sabboth," os hynny yw'r iawn ddarlleniad, 2 Bren. xvi. 18. Canys yma'r offeiriad priodol a safai yn syth, tan orchudd, i gyhoeddi dechrau a diwedd pob Sabboth Iuddewig.

Rhufain, a bod Vitellius yn ymerawdwr. Hyn a barodd anfoddlonrwydd iddo; er y gwyddai yn dda y modd i gymmeryd ei lywodraethu, yn gystal ag i fod yn llywodraethwr ei hun; ac ni fedrai, gyd â dim boddlonrwydd, ei gydnabod ef yn arglwydd, yr hwn a ymddygasai mor wallgofus; ac a oresgynasai'r llywodraeth, fel pe buasai yn hollol amddifad o lywodraethwr. Ac fel yr oedd ei anfoddlonrwydd hwn yn cynnyddu, nis gallai gynnal y blinder meddwl yr ydoedd tano; nac ymarfer ei hun ymhellach mewn rhyfeloedd eraill, pan oedd gwlad ei enedigaeth yn cael ei hanghyfanneddu. Ond yna er cymmaint yr oedd ei ofal yn ei gynhyrfu i ddial ei wlad, cyn gymmaint a hynny'r attaliwyd ef gan yr ystyriaeth o'i bellder oddi wrthi. O herwydd y gallai ffortun osod rhwystr o'i flaen, a pheri i fyd o ddrygau ei gyfarfod, cyn mordwyo i Itali; yn enwedig gan mai'r tymmor gauaf ydoedd etto: felly fe attaliodd ei ddigter, pa mor gryfed bynnag ydoedd y pryd hwn.

Ond yn awr ei gadflaenoriaid a'i filwyr a ymgyfarfuant â'u gilydd yn amryw finteioedd; i gydymgynghori yn gyhoeddus ynghylch cyfnewidiad yr achosion cyffredin: ac oddi ar eu heiddigedd a lefasant, "Yn Rhufain y mae milwyr yn byw yn foethus; a phan na anturiant gymmaint ac i ymwrando â hanes y rhyfel, y maent yn gosod y neb a fynnont i lywodraethu arnynt; a thrwy obeithio am elw yn eu gwneuthur yn ymerawdwyr. Pan yr ydych chwi wedi myned trwy gymmaint o lafur, ac yn cynnyddu mewn blynyddoedd tan eich arfogaeth, rhoddwch le i eraill i arferyd yr un awdurdod; pan y mae gennych un yn eich mysg eich hunain yn fwy teilwng o lywodraethu nag un a ddodasant hwy i fynu. Yn awr pa gyfiawnach cyfle a gant hwy byth i wneuthur tâl i'w blaenoriaid, os na wnant ddefnydd o'r cyfleusdra presennol sydd o'u blaen, pan y mae llawer cyfiawnach rheswm am i Vespasian fod yn ymerawdwr, na Vitellius, fel y maent hwy eu hunain yn deilyngach na'r rhai a wnaethant eraill yn ymerawdwyr. Canys hwy a aethant trwy gymmaint rhyfeloedd â'r lluoedd a ddaethant o'r Almaen. Ac nid ydynt yn is-radd mewn rhyfel i'r rhai a ddygasant y teyrn-ormeswr hwnnw i Rufain, ac nid aethant trwy lai o lafur na hwynt hwy. Ac ni fydd i'r senedd Rufeinig, na'r bobl, oddef y fath ymerawdwr anniwair a Vitellius, os cydmarir ef a'n diwair Vespasian: ac ni chyd-ddygant â'r fath orthrymwr creulon, yn lle llywodraethwr cydwybodol: neu ddewis un * di blant, yn llywydd, yn lle'r hwn sydd a meibion ganddo. O herwydd fod gosodiad gwyr o'u plant eu hunain mewn sefyllfaoedd goruchel, yn ddiogelwch mwyaf a all pennaethiaid ei gael iddynt eu hunain. Pa un bynnag gan hynny a wnelom ai cyfrif cymmwysder i lywodraethu oddi wrth rifedi blynyddoedd, dylai Vespasian gael y blaenoriaeth; neu olygu grymmusder gwyr ieuaingc, dylem gael Titus i flaenori trosom: canys trwy'r moddion hyn y cawn fwynhau buddioldeb y ddau oedran. Canys hwy a chwanegant rym i'r rhai a wnelir rhagllaw yn ymerawdwyr: y rhai sydd â chanddynt eisoes dair o lengau tan eu hawdurdod, heblaw cynnorthwyadon eraill oddi wrth y brenhinoedd cymmydogaethol: a chant ymhellach yr holl fyddinoedd yn y dwyrain i gyd-weithredu â hwynt: megis hefyd y rhai yn Europe, cyn belled ag y maent allan o gyrraedd ac ofn Vitellius; heblaw y cyfryw gynnorthwyadon ag a ddichon fod yn yr Ital ei hun: hynny yw, † brawd Vespasian, a'i fab ‡ arall; un o ba rai a ddug i mewn lawer o'r gwyr ieuaingc hynny ag sydd o raddau goruchel; pan y mae'r llall wedi ymddiried iddo am lywodraethiad y ddinas: pa ryw swydd o'r eiddo ef ni fydd o ychydig fantais i Vespasian i feddiannu'r llywodraeth. Ar y cyfan, dichon yr achos fod yn gyfryw, fel os bydd i ni ein hunain wneuthur oediad ymhellach, y senedd a allant ddewis ymerawdwr, yr hwn a fydd i'r milwyr, achubwyr yr ymerodraeth, ei gyfrif yn ddirmygus."

Dyma'r ymddiddanion a fu gan y milwyr yn eu hamrywiol gymdeithasau: ar ol yr hyn yr ymgasglasant ynghyd yn gorph lliosog; a

* Yr awdwyr Rhufeinig sydd yn awr mewn bod, a ddywedant fod plant gan Vitellius; pan y mae Josephus yn rhoi arwydd yma, fod y milwyr Rhufeinig yn Judea, yn dywedyd ei fod yn ddiblant. Pa un o'r ddau adroddiad yma oedd gywiraf, ni's gallaf ddywedyd. Spanheim a dybia roddi o hono reswm neillduol am alw Vitellius yn ddibiant, er ei fod mewn gwirionedd yn eu meddu: i'r hyn yr ymddengys fod yn anhawdd rhoi cydsyniad.

† Y brawd hwn i Vespasian ydoedd Flavius Sabinus, fel yr hyspysa Suetonius i ni. Efe hefyd a grybwyllir gan Josephus wrth ei enw yn ol hyn, pen. 11.

‡ Domitian.

thrwy annogaeth eu gilydd hwy a * gyhoeddasant Vespasian yn ymerawdwr; gan ei annog i waredu 'r llywodraeth ag oedd yn awr mewn perygl. Yn awr yr oedd gofal Vespasian yn fawr tros yr achos cyffredin er's amser a aethai heibio. Etto ni feddyliodd osod i fynu am y llywodraeth ei hun, er i'w weithredoedd ymddangos megis yn ei haeddu; tra'r oedd efe yn dewis y diogelwch oedd mewn bywyd neillduedig, yn hytrach na'r peryglon perthynol i'r fath oruchel sefyllfa. Ond pan oedd am ymwrthod â'r ymerodraeth, y blaenoriaid a'i cymmellasant yn daerach i wneud derbyniad o honi; a'r milwyr a ymgrynhoisant o'i amgylch â'u cleddyfau noethion, gan fwgwth ei ladd, os nad ymddygai yn awr yn gyfattebol i'w uchafiaeth. Ac wedi dangos o hono ei anewyllysgarwch tros hir amser, ac ymdrechu i gadw draw yr awdurdod bennaf oddi wrtho; efe o'r diwedd a ymostyngodd i erfyniadau y rhai a fynnent ei gyfarch yn ymerawdwr.

Felly ar annogaethau Miccianus, a'r blaenoriaid eraill, fod iddo wneuthur derbyniad o'r ymerodraeth; ac ar ddeisyfiad y gweddill o'r fyddin, y rhai a lefent allan, eu bod yn ewyllysgar i gymmeryd eu harwain yn erbyn eu holl wrthwynebwyr: yr ydoedd a'i ogwydd yn y lle cyntaf at gael meddiant o'r arglwyddiaeth yn Alexandria; gan wybod fod yr Aipht o'r canlyniad mwyaf, i'r diben i gael etifeddiaeth gyfan-gwbl o'r ymerodraeth, ac i fod yn foddion i ddiwallu Rhufain ag ŷd neu lafur; pa ryw lafur os gallai unwaith ei berchenogi, yr ydoedd yn gobeithio diorseddu Vitellius, pe tybid ei fod am gadw'r ymerodraeth trwy drais: (canys ni fyddai'n alluog i'w amddiffyn ei hun, wedi i'r lliaws yn Rhufain ddyfod unwaith mewn diffyg o fara:) ac oblegid ei fod yn ewyllysio uno y ddwy leng o filwyr oedd yn Alexandria, â'r llengau eraill oedd gyd âg ef. Efe hefyd a ystyriodd rhyngddo âg ef ei hun, y byddai ganddo rhagllaw y wlad honno yn amddiffynfa iddo ei hun, gogyfer ag ansicrwydd ffortun. Canys y mae'r † Aipht yn anhawdd dyfod i mewn iddi ar hyd dir, ac sydd heb borthladd da iddi o'r môr. Y mae iddi o du'r gorllewin sych ddiffeithwch Lybia; ac ar y deheu Siene, ag sydd yn ei gwahanu oddiwrth Ethiopia, a rhaiadrau y Nilus, y rhai ni ellir mordwyo trostynt. Ac o du'r dwyrain y Môr Coch, yn cyrraedd mor bell a Coptus: ac y mae yn cael ei hamddiffyn ar du'r gogledd gan y tir a gyrraedd hyd yn Syria; yn nghyd a'r un hwnnw a elwir yn Fôr yr Aipht, yr hwn sydd heb iddo borthladdoedd cyfleus i longau. A'r modd hwn y mae'r Aipht wedi murio o amgylch iddi ar bob tu. Ei hyd rhwng Pelusium a Siene sydd yn ddwy fil o 'stadau. A'r tramwyad ar y môr o Plinthime i Pelusium sydd yn dair mil a chwechant o 'stadau. Ei hafon Nilus sydd yn fordwyol cyn belled a'r ddinas Elephantine; ei rhaiadr sydd yn rhwystr i longau fyned ddim yn mhellach. Porthladd Alexandria hefyd nid eir iddo heb anhawstra gan forwyr, hyd yn oed yn amser heddwch: canys y fynedfa i mewn sydd yn gul, ac yn llawn creigiau yn gorwedd islaw wyneb y dwfr, yr hyn sydd yn lluddias morwyr i fyned rhagddynt yn union tua'r lle y byddont yn cyfeirio. Ei hochr aswy a lanwyd i fynu â gwaith dwylaw dynion ar bob tu. Ar ei thu dehau y gorwedd yr ynys a elwid Pharos, sefyllfa pa un sydd yn gymmwys o flaen y ddyfodfa i mewn, ac yn cynnal tŵr tra uchel, ag sy'n dangos goleuni tân, i'r cyfryw ag a fyddo yn morio o fewn tri chant o 'stadau iddi; fel y gall llongau fwrw angor mewn pellder mawr oddi wrtho yn y nos, ar gyfrif yr anhawstra o forio yn agosach yno. Ynghylch yr ynys hon y mae amryw golofnau neu bilerau mawrion; yn erbyn pa rai pan fyddo'r môr yn ymguro, a'r tonnau yn ymdorri, y mordwyad heibio iddynt sydd dra blinderus, a'r mynediad trwodd yn beryglus o herwydd ei gulni. Etto'r hafn ei hun, pan elir i mewn iddo, sydd yn lle diangol, ac yn ddeg ar hugain ystadau o gylchyniad, trwy ba le y dygir i mewn yr hyn a fo'r wlad mewn diffyg o hono er ei dedwyddwch; megis

* Y mae'n amlwg oddiwrth natur pethau, fel yr arwyddir gan Josephus ac Eutropius, ddarfod cyfarch Vespasian yn gyntaf yn ymerawdwr yn Judea, ac nid tros ryw hyd o amser ar ol hynny yn yr Aipht. Oddiwrth yr hyn y dylai presennol gopiau Tacitus a Suetonius gael eu diwygio; pan y maent bob un yn dywedyd, ddarfod ei gyhoeddi yn gyntaf yn yr Aipht, a hynny yn mis Gorphenaf: crybwyllant hefyd, yn y cyfamser, mai nid cyn y pummed o Orphenaf y cyhoeddwyd ef yn Judea. Yr wyf yn tebygu mai'r mis a feddylient yn awr oedd Mehefin, ac nid Gorphenaf fel y noda'r copiau presennol. Ac nid yw cyssylltiad Tacitus yn arwyddo llai. Gwel yn Saesonaeg Draethawd ar y Datguddiad, t. d. 136.

† Yma y mae gennym ddescrifiad awdurdodol o derfynau ac amgylchiadau'r Aipht, yn nyddiau Vespasian a Thitus.

hefyd y digonedd a rydd y wlad o'i ffrwythau, tu hwnt i'r hyn a dreulir gan ei thrigolion, o'r porthladd hwn a ddosparthir trwy'r holl ddaear gyfanneddol.

Yn gyfiawn gan hynny yr oedd Vespasian yn ewyllysio meddiant o'r llywodraeth hon, mewn trefn i gyfnerthu ei fwriadol etifeddiad o'r holl ymerodraeth. Felly fe ddanfonodd yn uniongyrch at Tiberius Alexander, gan ei wneuthur yn hysbys o'r hyn a osodasai'r fyddin arno ef; a'r modd yr ydoedd, wedi gorfod cymmeryd arno faich y llywodraeth, yn dymuno ei gael ef yn gyngreirwr ac yn gynnorthwywr. Yn awr cyn gynted ag y darllenodd Alexander y llythyr hwn, efe gyd â pharodrwydd a wnaeth i'r llengau a'r lliaws gymmeryd llw o ffyddlondeb i Vespasian; a phob rhai o honynt yn ewyllysgar a gydsyniasant; gan eu bod eisoes yn adnabyddus o wroldeb y gwr trwy ei weithrediadau yn eu cymmydogaeth. Yn ganlynol Vespasian, gan olygu ei hun eisoes megis wedi ymddiried iddo am y llywodraeth, a geisiodd bob peth yn barod i gymmeryd taith i Rufain. Yn awr ei glod a ddygodd y newyddion hyn o amgylch yn gynt nag a fuasai neb yn meddwl, ei fod yn ymerawdwr ar y dwyrain. Ar ba achos fe gadwyd gwleddoedd yn mhob dinas, ac a aberthasant aberthau ac offrymau am y fath newyddion da. Y llengau hefyd ag oedd ym Mysia a Panhonia, y rhai a fuasai mewn cythrwfl ychydig o'r blaen, ar gyfrif cynhygiad trahaus Vitellius, ydoedd ragorol dda ganddynt gymmeryd llw o ffyddlondeb i Vespasian, ar ei ddyfodiad i'r ymerodraeth. Vespasian wedi hyn a symmudodd o Cæsarea i Berytus; lle y daeth amryw genhadau atto o Syria, ac o amryw daleithiau eraill; gan ddwyn gyd â hwynt goronau o bob dinas, a chyfarchiadau oddi wrth y bobl. Mucanus a ddaeth hefyd, yr hwn oedd raglaw y dalaith, ac a ddywedodd iddo gyd â pha sirioldeb y derbyniasai'r bobl y newyddion o'i ddyrchafiad, a'r modd y cymmerasent ym mhob dinas lw o ffyddlondeb iddo.

Felly ffortun dda Vespasian a lwyddodd yn gyfattebol i'w ddisgwyliad ym mhob man; a'r achosion cyhoeddus ydoedd eisoes, gan mwyaf, yn ei ddwylaw ef. Ar yr hyn yr ystyriodd ni chyrhaeddasai i'r llywodraeth heb ddwyfol ragluniaeth; ond darfod i fath o dynghedfen gyfiawn ddwyn yr ymerodraeth tan ei awdurdod. Canys fel yr oedd yn galw i'w gof amryw arwyddion eraill, a ragddangosodd ei ddyfodiad i'r llywodraeth; felly fe goffaodd yr hyn a ddywedasai Josephus wrtho, pan yr * anturiodd ragfynegi hyn iddo, tra'r oedd Nero yn fyw. Felly fe ofidiodd yn fawr am fod y dyn hwn tan rwymau etto ganddo ef. Yna fe alwodd am Mucianus, ynghyd a'i flaenorwyr eraill, a'i gyfeillion; ac yn gyntaf oll, fe hyspysodd iddynt pa fath ddyn gwrol a fuasai Josephus; a'r fath anhawsdra a barasai iddo ef i gymmeryd Jotapata. Ar ol hynny fe adroddodd y † rhagfynegiadau o'r eiddo ef, y rhai y pryd hwnnw a gymmerasai am dwyll-chwedl ffuantus, wedi ei ddychymmygu oddi ar yr ofn a syrthiasai arno yn ei gaethiwed. Ond yr hyn a amlygwyd, trwy'r cyflawniad presennol o hono, ei fod o ddawn ddwyfol.

"Y mae'n beth cywilyddus," eb efe, "fod y dyn yma a ragddywedodd am fy nyfodiad i'r ymerodraeth yn mlaen llaw, ac sydd wedi bod yn weinidog i ddwyn cennadwri ddwyfol attaf, ei fod fyth yn cael aros mewn amgylchiad caethwas neu garcharwr." Felly fe alwodd am Josephus, ac a orchymmynodd ei osod mewn rhyddid. Addawodd y cad-flaenoriaid hefyd bethau gogoneddus iddynt eu hunain, trwy'r taliad hwn a wnaethpwyd gan Vespasian i ddieithr-ddyn. Titus oedd hefyd y pryd hynny yn bresennol gyd â'i dad, ac a ddywedodd, "O fy nhad, nid yw amgen na chyfiawnder i dynu ymaith waradwydd carcharor oddiar Josephus, ynghyd â'i gadwyn haiarn: canys os gwnawn nid yn unig ddattod ei gadwynau, ond eu torri yn chwilfryw, yna y bydd megis dyn na fuasai erioed yn rhwym." Canys dyna oedd y drefn arferol o wneuthur â rhai a rwymid yn ddiachos. Yr annogaeth hon a roddwyd gydsyniad

* Gwel Llyfr III. pen. 8.

† Megis ag y dyrchafwyd Daniel gan Darius a Cyrus, ar gyfrif ei ragfynegiad am ddinystr y frenhiniaeth Fabilonaidd trwy'r moddion o honynt hwy, a dilynol ddyrchafiad y Mediaid a'r Persiaid, Dan. v. 6. neu yn hytrach fel Jeremia, pan oedd yn garcharor, yn cael ei ryddhau, ac ymddwyn tu ag atto yn anrhydeddus gan Nebuzaradan, wrth orchymmyn Nubucodonozor; o herwydd ei fod ei hun yn offerynnol i gyflawni y dinystr ar Jerusalem, a ragddywedasai y prophwyd am dano, trwy'r Babiloniaid, Jer. xl. Felly ein Josephus ninnau a ryddhawyd, ac a driniwyd yn anrhydeddus, o herwydd rhagfynegi o hono am ddyrchafiad Vespasian a Thitus i'r ymerodraeth Rufeinaidd. Yr holl bethau hyn ydynt arwyddion tra amlwg o gyfryngau dwyfol ragluniaeth, a sicrwydd dwyfol ragfynegiadau, ynghylch-droadau mawrion y pedair un-beniaethau. Llawer o'r fath siamplau a gyfarfyddir, yn yr hanesion cyssegredig ac eraill. Megis yn amgylchiad Joseph yn yr Aipht, Jaddeca'r archoffeiriad, yn nyddiau Alexander Fawr, &c.

iddi gan Vespasian. Felly daeth i mewn ddyn ac a dorrodd y gadwyn yn ddrylliau, pan y derbyniodd Josephus y dystiolaeth hon o'i uniondeb yn wobr; ac y cyfrifwyd ef hefyd yn deilwng o gred a hyder tu ag atto mewn amserau i ddyfod.

## PENNOD XI.

*Wedi buddugoliaethu ar, a lladd Vitellius, Vespasian yn brysio yn ei daith i Rufain; ond Titus sydd yn dychwelyd i Jerusalem.*

YN awr, wedi i Vespasian roddi attebion i'r cenhadau, a threfnu sefyllfaoedd o awdurdod gyd â * chyfiawnder, ac yn gyfattebol i haeddiant pob un, fe ddaeth i Antioch: a chan ymgynghori â'r pennaethiaid yno pa ffordd oedd oreu iddo ei chymmeryd, fe ddewisodd fyned i Rufain, yn hytrach na chyrchu i Alexandria, am farnu o hono ei hun eisoes yn sicr o'r lle hwnnw; ond bod amgylchiad pethau yn Rhufain wedi eu dodi mewn annhrefn gan Vitellius. Felly fe ddanfonodd Mucianus i'r Ital, gan ddodi byddin liosog o wŷr meirch a thraed tan ei ofal ef. Etto fe ofnodd Mucianus fyned yno trwy for-daith, am mai canol y tymmor gauaf ydoedd; † ac felly fe arweiniodd ei fyddin ar draed trwy Cappadocia a Phrygia.

Yn y cyfamser Antonius Primus a gymmerodd drydydd ran y llengau oedd yn Mysia, canys yr ydoedd yn Rhaglaw y dalaith honno, ac a wnaeth frys mewn trefn i ymladd â Vitellius. Ar hyn Vitellius a ddanfonodd ymaith Cecinna, gyd â byddin fawr; gan fod yn dra hyderus o hono ef, o herwydd ddarfod iddo orchfygu Otho. Y Cecinna hwn a wnaeth gychwynfa allan o Rufain, gyd â brys mawr, ac a gafodd Antonius ynghylch Cremona yn Gaul, yr hon ddinas sydd ar gyffiniau Itali. Ond pan ganfu'r gelyn yn lliosog, ac mewn trefn reolaidd, ni feiddiodd ymladd â hwynt: ac fel yr oedd enciliad yn beyglus, fe ddechreuodd feddwl am draddodi yn fradwrus ei fyddin trosodd i Antonius; a hyn trwy fychanu achosion Vitellius, a chynyddu awdurdod Vespasian. Dywedodd hefyd wrthynt, "Nad oedd gan un ond yr enw noeth o arglwyddiaeth; ond gan y llall yr ydoedd ei grym hi. A bod yn well iddynt flaenori angenrheidrwydd, ac ennill ffafr: a phan oeddynt yn debyg o gael eu gorchfygu mewn brwydr, i fod iddynt ochelyd y perygl ym mlaenllaw, a myned trosodd at Antonius yn ewyllysgar. Fod Vespasian yn alluog o hono ei hun i ddarostwng yr hyn na ymostyngasai eisoes, heb eu cyd-weithrediad hwynt; pan na allai Vitellius amddiffyn yr hyn oedd eisoes yn ei feddiant gyd â hwynt."

Cecinna a draethodd hyn, a llawer ychwaneg i'r un pwrpas, gan eu perswadio i gydsynio ag ef; ac efe ei hun â'i fyddin a gyd-enciliasant. Ond yn yr un noswaith y milwyr a edifarhasant am yr hyn a wnaethant; ac ofn a syrthiodd arnynt rhag ysgatfydd i Vitellius, yr hwn a'u danfonasai, gael y trechaf. A chan dynnu allan eu cleddyfau, hwy a ymosodasant ar Cecinna mewn trefn i'w ladd ef. A'r peth a gyflawnasid ganddynt, pe na buasai i'r tribuniaid syrthio ar eu gliniau, a deisyfu arnynt ymattal. Felly y milwyr ni laddasant ef, ond a'i dodasant mewn rhwymau, fel teyrnfradwr: ac oeddynt yn myned i'w ddanfon at Vitellius. Pan glybu Antonius Primus am hyn, fe drefnodd ei wŷr yn ddioed, gan wneud iddynt ymwisgo â'u harfogaeth, ac a'u tywysodd yn erbyn y rhai a wrthgiliasent. Ar hyn hwy a ddodasant eu hunain mewn trefn i ymladd, ac a'u gwrthsafasant dros amser; ond fe'u trechwyd yn fuan, a ffoi a wnaethant i Cremona. Yna y cymmerodd Primus ei wŷr meirch, ac a dorrodd ymaith eu mynedfa i mewn i'r ddinas, gan eu hamgylchu, a difetha llawer o honynt o flaen y ddinas; ac efe a ruthrodd i mewn i'r ddinas gyd â'i wŷr, i'r rhai y rhoddodd gennad i'w hamheithio. Ac yma y bu i lawer o ddieithriaid, y rhai oeddynt fasnachwyr, yn gystal a phobl y wlad honno, gael eu difetha: ac yn eu plith hwynt holl fyddin Vitellius, a hwy yn ddeg ar hugain o filoedd, a dau cant o rifedi: pryd na ddifethwyd ychwaneg o'r rhai a ddaethent gyd ag Antonius o Mysia na phedair mil a phum cant. Yna fe ‡ ryddhaodd Cecinna, ac a'i danfonodd at Vespasian, i adrodd y newyddion da iddo. Felly efe a ddaeth, ac a dderbyn-

* Mae Josephus yn sylwi yn dda yma; ddarfod i Vespasian, mewn trefn i sicrhau llwyddiant ei achos, a chadarnhau ei lywodraeth, yn gyntaf, trwy ddosparthu swyddau a sefyllfaoedd ar sail cyfiawnder; gan eu pennodi i'r cyfryw ag oedd yn fwyaf haeddianol ac yn addas iddynt. Yr hwn ddoeth ymddygiad mewn cenedl-ddyn, a ddylai ddodi cywilydd ar lywodraethwyr a gweinidogion gwladol yn proffesu Cristionogrwydd, a weithredant i'r gwrthwyneb; a thrwy hynny a ddodant eu hunain a'u gwlad yn agored i ddrygau ac i ddinystr.

† B. A. 69.

‡ Y waredigaeth hon o Cecinna, a'i anfoniad at Vespasian, a geir hefyd yn Tacitus, Han. III. 31. fel mae Spanheim yn sylwi yma.

iwyd ganddo; ac a guddiodd waradwydd ei fradwriaeth â'r anrhydedd annisgwyladwy a dderbyniodd gan Vespasian.

Yn awr, ar y newydd o fod Antonius yn agoshau, * Sabinus a ymwrolodd yn Rhufain, ac a gynhullodd ynghyd y minteioedd hynny ag a gadwent wyliadwriaeth yn y nos: pa amser hefyd y cymmerodd feddiant o'r Cabidyldy. Ac fel y daeth y dydd yn mlaen, llawer o'r gwŷr parchedig a ddaethant trosodd atto gyd â Domitian, mab ei frawd: annogaethau pa un oedd o'r pwys mwyaf tu ag at feddiannu'r llywodraeth. Yn awr ni phetrusodd Vitellius ond ychydig oblegid y Primus hwn: ond yr ydoedd yn dra digllon wrth y rhai a droesent at Sabinus: a chan sychedu, yn ol ei dymmer farbaraidd, am waed y pendefigion, fe ddanfonodd y rhan hynny o'i fyddin a ddaethant gyd ag ef i ymladd wrth y Cabidyldy: a llawer o waith gorchestol a wnaethpwyd ar yr achos hwn, ac o du y rhai oedd yn cadw'r † deml. Ond o'r diwedd y milwyr a ddaethant o'r Almaen, trwy fod yn rhy liosog i'r lleill, a gawsant y bryn i'w meddiant. Yn mha le y darfu i Domitian, gyd â llawer eraill, yn rhagluniaethol ddiangc rhag y mawr berygl; pan y darfu i eraill o'r lliaws gael eu gwneuthur yn ddrylliau; a Sabinus ei hun a ddygwyd at Vitellius, ac a'i lladdwyd ef. Y milwyr hefyd a yspeiliasant y deml o'i haddurniadau, ac a'i gosodasant ar dân. Ond yn awr yn mhen diwrnod o amser y daeth Antonius gyd â'i fyddin; ac a gyfarfuwyd gan Vitellius â'i fyddin yntau: ac wedi bod ymladdfa rhyngddynt mewn tri o wahanol fanau, yn y ddiweddaf y cwbl a ddifethwyd. Yna y daeth Vitellius allan o'r palas, ac efe mewn diod, ac wedi ei orlenwi â phryd afradlonedd o ddanteithion, ond tan eithaf cyfyngder. Ac wedi ei lusgo yn mlaen trwy'r lliaws, a'i ammherchi â phob math o ddirmyg a phoenydiau, yna torrwyd ymaith ei ben yn nghanol Rhufain, wedi cynnal y llywodraeth † wyth mis a phump o ddyddiau. A phe buasai byw beth yn hwy, ni allaf dybied yn amgen na buasai'r holl ymerodraeth yn medru digoni ei chwant ef. O rai eraill a laddwyd yr amser hwn, fe'u cyfrifwyd uwchlaw deg a deugain o filoedd. Y frwydr hon a ymladdwyd ar y trydydd dydd o'r mis Apelleus neu Casleu. Ar y dydd nesaf Mucianus a ddaeth i'r ddinas, gyd â'i fyddin, ac a orchymmynodd i Antonius a'i wŷr roddi heibio laddiadau, canys yr oeddynt yn parhau etto i chwilio'r tai, a lladd amryw o filwyr Vitellius, ynghyd a rhai o'r gwerinos, gan dybied eu bod o'i blaid ef; am fod eu cynddaredd yn rhwystr iddynt i wahaniaethu rhyngddynt hwy ac eraill. Yna y cafodd Domitian, ac a'i gorchymmynodd i ofal y lliaws, nes dyfod ei dad yno ei hun. Felly y bobl yn awr wedi eu rhyddhau oddiwrth eu hofnau, a wnaethant floddest o lawenydd oblegid Vespasian, fel eu hymerawdwr; gan gynnal dyddiau gwylion er ei gadarnhad, ac am ddinystr Vitellius.

Ac yn awr fel yr oedd Vespasian wedi dyfod i Alexandria, y newyddion da hyn a ddaethant o Rufain; ac ar yr un pryd y daeth cenhadau o'r holl ddaear gyfanneddol ‡ ei hun, i'w gyfarch ar ei ddyrchafiad. Ac er mai'r Alexandria hon oedd y nesaf mewn maintioli i Rufain, yr ydoedd yn rhy gyfyng i gynnwys y lliaws a ddaeth i mewn iddi. Felly ar y cadarnhad hwn o holl-ol feddiant Vespasian o'r llywodraeth, yr hon oedd yn awr wedi ei sefydlu; ac ar waredigaeth annisgwyladwy achosion cyhoeddus y Rhufeiniaid oddiwrth ddinystr; Vespasian a ddychwelodd ei feddyliau at yr hyn oedd yn aros i'w wneuthur yn Judea. Pa fodd bynnag efe ei hun a wnaeth frys i fyned i Rufain, fel ag yr oedd y gauaf yn awr ynghylch myned heibio; ac yn ebrwydd fe sefydlodd faterion Alexandria: ond fe ddanfonodd ei fab Titus, gyd â rhan ddewisedig o'i fyddin, i ddadymchwel Jerusalem. Felly Titus a gyrchodd ar draed cyn belled a Nicopolis, yr hon oedd ugain ystâd o bellder oddiwrth Alexandria. Yna y dododd ei fyddin ar fwrdd llongau, ac a hwyliodd ar hyd yr afon Mendesian Nomus cyn belled â'r

* Brawd Vespasian. † Y cabidyldŷ lle'r ydoedd teml bynodfawr Jupiter.

† Y rhifedi yn Josephus, pen. 9. am Galba, yw saith mis a saith niwrnod; am Otho, tri mis a deuddydd; ac yma am Vitellius, wyth mis a phump o ddyddiau, nid yw yn cyttuno ag un o'r haneswyr Rhufeinig, y rhai ydynt hefyd yn anghyttuno yn eu mysg eu hunain. Ac yn wir y mae Scaliger yn achwyn yn gyfiawn, fel y sylwia Dr. Hudson ar pen 9. § 2. fod yr amseriad yma yn dra chymmysglyd ac ansicr, mewn awduron hynafiaethol. Yr oedd ysgatfydd yn cyd-oesi tros ran o'u hamser, un o'r tystion goreu sydd gennym, fy meddwl yw Canon Ptolemy sydd yn eu gadael oll o'r neilldu, fel pe buasent oll ynghyd heb deyrnasu blwyddyn. Dio hefyd yr hwn a ddywed i Vitellius deyrnasu blwyddyn oddigerth deg o ddyddiau, nid yw er hynny yn cyfrif eu teyrnasiad oll ynghyd yn ychwaneg nag un flwyddyn, un mis, a dau o ddyddiau.

‡ Yr holl ymerodraeth Rufeinig.

ddinas Thimuis. Yna'r aethant allan o'r llongau, ac a gerddasant ar draed; a llettyasant trwy'r holl nos mewn dinas fechan a elwid *Tanis. Ei ail ddisgynfa oedd Heraclepolis; a'i drydydd oedd Pelusium. Yno y gorphwysodd tros ddeuddydd: ac ar y trydydd fe aeth tros safn yr afon Nilus yn Pelusium. Yna fe aeth un daith tros y diffeithwch, ac a wersyllodd wrth deml y † Casian Jupiter; ac ar y dydd nesaf yn Ostracine. Y sefyllfa hon oedd heb ddwfr ynddi: ond pobl y wlad a ddefnyddiant y dwfr a ddygir o fannau eraill. Ar ol hyn fe orphwysodd yn Rhinocolura; ac oddiyno fe aeth i Raphia, yr hon oedd ei bedwerydd sefyllfa: y ddinas hon yw dechreuad Syria. Am ei bummed arosfa, fe wersyllodd yn Gasa. Ar ol hyn fe ddaeth i Ascalon, ac oddi yno i Jamnia: ac ar ol hynny i Joppa; ac o Joppa i Cæsarea: wedi iddo benderfynu casglu ynghyd ei holl fyddinoedd eraill yn y lle hwnnw.

---

# LLYFR V.

*Yn cynnwys Amseriad o gylch Chwe' Mis.*

## O DDYFODIAD TITUS I WARCHAE AR JERUSALEM, HYD Y CYFYNGDER MAWR I'R HWN Y DAROSTYNGWYD YR IUDDEWON.

### PENNOD I.

*Ymherthynas i'r ymbleidiau yn Jerusalem; a'r trueni arswydus a oddiweddodd y ddinas o'u hachos hwynt.*

WEDI i Titus ymdeithio tros y diffeithwch hwnnw ag sy'n gorwedd rhwng yr Aipht a Syria, yn y modd a grybwyllwyd, fe ddaeth i Cæsarea, wedi penderfynu gosod ei fyddinoedd mewn trefn yn y lle hwnnw, cyn dechrau ar y rhyfel. Ië yn wir, pan ydoedd yn cynnorthwyo ei dad yn Alexandria, i sefydlu y llywodraeth honno, a drefnasid iddynt yn ddiweddar gan Dduw, yr ymrysoniad yn Ierusalem a adfywiodd, ac a ymranasant yn dri o bartion; a phob parti neu blaid yn ymladd yn erbyn y llall: pa ryw bartion mewn drwg amgylchiad a ellir ei alw yn ddaioni, ac yn effaith dwyfol gyfiawnder. Yn awr ymherthynas i'r ymosodiad a wnaeth y brwdfrydwyr ar y bobl, a'r hyn yr wyf yn ei gyfrif yn ddechreuad dinystr y ddinas, fe'i heglurwyd eisoes mewn modd helaeth; ac hefyd o ba le y cyfododd, ac i ba raddau o ddrygioni y cynnyddodd. Ond am yr ymrysoniad presennol, ni byddai i un gamsyniad pe galwai hwn yn yn ymryson wedi ei genhedlu o ymryson arall, a'i fod fel bwystfil wedi tyfu i gynddeiriogrwydd; yr hwn ag efe mewn diffyg ymborth oddi allan, a syrthiodd i ddifa ei gnawd ei hun. Canys Eleazar, mab Simon, yr hwn a barodd yr ysgariad cyntaf rhwng y brwdfrydwŷr â'r bobl, ac a wnaeth iddynt gilio i'r deml, a ymddangosodd yn dra digllon wrth drahaus ymddygiadau Ioan, yr hyn a arferodd yn feunyddiol tu ag at y bobl: canys ni adawai'r dyn hwn fyth heibio lofruddiaeth. Ond y gwirionedd ydoedd, na's gallai ei hun oddef ymostwng i ormeswr, a ymosodasai i fynu ar ei ol ef. Felly ag efe yn ewyllysio meddianu'r holl awdurdod yn ei law ei hun, a giliodd oddi wrth Ioan; ac a gymmerodd yn gynnorthwy iddo Ioan mab Chelcias, a Simon mab Ezron, y rhai oeddynt o blith y pennaethiaid. Yr ydoedd hefyd gyd ag ef Aezecia fab Chobar, gŵr godidog: pob un o ba rai a ddilynwyd gan lawer o'r brwdfrydwyr. Y rhai hyn a oresgynasant ‡ gyntedd § tufewnol y deml; ac a ddodasant eu harfogaeth ar bwys y pyrth cyssegredig, ac uwchlaw tu-wyneb cyssegrol y cyntedd hwnnw. A chan fod ganddynt ddigonedd o luniaeth yr oeddynt yn dra chefnog. Canys yr oedd yno helaethrwydd o'r pethau a neillduasid i wasanaeth cyssegredig

---

* Zoan yn yr Hên Destament.

† Y mae arian ac argraph y Casian Jupiter hwn i'w cael yn bresennol fel y crybwyll Spanheim.

‡ Hwn a ymddengys ei fod yr amser cyntaf i'r brwd-frydwyr anturio halogi y cyntedd cyssegrol hwn o'r deml, yr hwn oedd gyntedd yr offeiriaid, lle'r oedd sefyllfa y deml ei hun, a'r allor. Felly dychymmyg y rhai a fynnent ddeongl ddarfod i Zacharias, yr hwn a laddasid amryw fisoedd o'r blaen, iv. 5. gael ei ladd yno gan y brwd-frydwyr hyn, sydd yn ddisail, fel y nodais eisoes ar y lle hwnnw.

§ Cyntedd yr offeiriaid.

ig, ac ni rusasent hwy wneud defnydd o honynt. Etto'r oeddynt yn ofnus o herwydd leied eu nifer. Ac wedi gosod i fynu eu harfau yno, ni symmudasant o'r lle yr oeddynt ynddo. Yn awr ymherthynas i Ioan, pa ryw fantais a gafodd uwchlaw Eleazar yn amlder ei ganlynwyr, y cyffelyb anfantais a gafodd oddi wrth y sefyllfa'r oedd ynddi; gan fod ei elynion ganddo uwch ei ben. Ac fel na's gallai wneud un ymosodiad arnynt heb arswyd, felly'r oedd ei lidiowgrwydd yn ormod i beri iddo fod yn llonydd. Ië, er dioddef o hono fwy o niweid oddiwrth Elaezar a'i blaid nag a allai wneuthur iddynt, etto ni adawai lonydd â'u blino hwynt: yn gymmaint a bod rhuthrau gwastadol yn cael eu gwneuthur ganddynt y naill yn erbyn y llall, yn gystal a phiccellau yn cael eu hergydio at eu gilydd; a'r deml a halogwyd ym mhob cwrr iddi â llofruddiaeth.

Ond y gorthrymwr Simon, mab Gioras, yr hwn a wahoddasai'r bobl i mewn, oddi ar y gobaith oedd ganddynt am ei gynnorthwy yn y cyfyngder mawr yr oeddynt tano, a chanddo yn ei feddiant y ddinas uchaf, a rhan fawr o'r isaf, a wnaeth yn awr ymosodiadau mwy tanbaid ar Ioan, a'i blaid: oblegid y rhai hyn a ymleddid i'w herbyn oddi fynu hefyd. Etto'r oedd efe islaw iddynt pan ymosododd arnynt megis ag yr oeddynt hwythau islaw ymosodiadau eraill ag oedd oddi arnynt. Trwy'r hyn y daeth o amgylch ddarfod i Ioan dderbyn a gwneud niweid gyd â hawsdra, fel ag yr oeddid yn ymladd i'w erbyn ar bob ochr. Ar un fantais ag oedd gan Eleazar a'i blaid arno ef, gan ei fod islaw iddo; felly y cyffelyb fantais oedd ganddo yntau, trwy uwch sefyllfa, ar Simon. Ar ba gyfrif y darfu iddo yn hawdd wrthsefyll yr ymosodiad oddi isod, trwy'r arfau a daflent o'u dwylaw yn unig: ond fe orfu iddo wrthwynebu y rhai a daflent biccellau atto o'r deml uwchlaw iddo â'i offerynau rhyfel. Canys yr oedd ganddo y fath offerynnau ag a fwriai saethau, gwaewffyn, a cherrig, a hynny nid o ychydig rifedi. Trwy'r hyn oedd nid yn unig yn ei amddiffyn ei hun, rhag y rhai a ymladdent i'w erbyn, ond hefyd a laddodd lawer o'r offeiriaid pan oeddynt ynghylch eu gweinidogaeth gyssegredig. Canys er bod y dynion hyn wedi gwallgofi gan bob math o annuwioldeb, etto'r oeddynt yn cenhadu o hyd y sawl a ewyllysient offrymmu eu haberthau: er cymmeryd o honynt ofal i chwilio pobl eu gwlad eu hunain ym mlaen llaw; ac a oeddynt fyth yn eu drwg-dybio ac yn eu gwylio hwynt: pryd nad oeddynt mor ammheus o ddieithriaid: ac er cael cennad ganddynt, pa mor greulon bynnag a fyddent, i fyned i mewn i'r cyntedd hwnnw; etto hwy yn fynych a ddifethid gan yr ymrysonwyr hyn. Canys y piccellau hynny a deflid gan y peiriannau a ddaethant gyd â'r fath nerth fel yr ymdanasant tros yr holl adeiladau; a chyrhaeddasant mor bell a'r deml ei hun, ac a syrthiasant ar yr offeiriaid, a'r * rhai oedd yn nghylch y swyddau cyssegredig.

Yn gymmaint ag i lawer o bersonau, y rhai a ddaethent yno gyd â sêl mawr o eithafoedd y ddaear i offrymmu aberthau yn y lle hynodfawr hwn, pa un a gyfrifid yn sanctaidd gan holl ddynolryw, syrthio i lawr yn feirwon o flaen eu haberthau, gan daenellu yr allor a gyfrifid yn barhaus ym mysg pob dynion, Groegiaid a Barbariaid, â'u gwaed eu hunain; nes bod cyrph meirw dieithriaid yn gyd-gymmysgedig â'r rhai o'u gwlad eu hunain: a'r rhai hynny o ddynion cenhedlig gyd â'r rhai o offeiriaid: a gwaed pob math o ddynion meirwon a safodd yn llynnoedd yn y cynteddau cyssegredig eu hunain. Ac yn awr, O ddinas fwyaf truenus! pa flinder mor fawr a hwn a ddioddefaist gan y Rhufeiniaid, pan y daethant i'th buro oddiwrth dy gasineb tufewnol? Canys ni ellit fod mwyach yn lle addas i Dduw; ac ni ellit barhau yn hir mewn bod, ar ol bod yn feddrod i gyrph cynnifer o'th bobl dy hun, ac wedi gwneud yn gladdfa y tŷ cyssegredig ei hun yn y rhyfel cartrefol hwn. Etto † gelli di dyfu yn well, os ysgatfydd y bydd i ti yn ol hyn ddyhuddo digllonrwydd Duw, yr hwn yw awdwr dy ddinystr. Ond rhaid im' ymattal fy hun â rhoddi lle i'r tymmerau yma wrth reol hanesion; gan nad yw hwn

* Y Lefiaid.

† Hwn sydd adfyriad odiaethol o'r eiddo Josephus, yn arwyddo ei obaith o adferiad yr Iuddewon ar eu hedifeirwch. Gwel Hynaf. iv. 8. yr hwn yw prif obaith Israel, megis y mae Mannasseh ben Israel. yr hynod rabbi Iuddewig, yn ei alw yn ei draethawd bychan, eithr tra hynod, ar y testun hwnnw, o'r hyn y mae'r prophwydi Iuddewig ym mhob man yn llawn.

yn amser cyfaddas i alarnadau certrefol; yr wyf gan hynny yn dychwelyd at yr hyn a ganlynodd yn yr ymryson hwn.

Yn awr yr oedd tair o bleidiau bradwriaethus yn y ddinas, a'r naill wedi ymrannu yn erbyn y llall. Elazar a'i blaid, ag oedd yn cadw y blaen-ffrwythau cyssegredig, a ddaethant yn erbyn Ioan yn eu diodydd. Y rhai oedd gyd â Ioan a yspeiliasant y werin-bobl, ac a aethant allan gyd â sel yn erbyn Simon. Y Simon hwn a ddiwellid o'r ddinas, mewn gwrthwynebiad i'r ymbleidwyr. Pan oedd Ioan wedi ymosod arno, gan hynny, o bob tu, parodd i'w wŷr droi eu hunain o amgylch, gan fwrw piccellau ar y dinasyddion hynny a ddaeth yn ei erbyn, oddi ar nen y 'stefyll-dai oedd ganddo tan ei feddiant, tra'r oedd yn gwrthsefyll y rhai a ymosodent arno o'r deml â'i offerynau rhyfel: ac os ar un pryd y rhyddheid ef oddi wrth y rhai oedd uwchlaw iddo, yr hyn yn fynych a ddigwyddai oddi wrth fyned y lleill yn flinedig, neu fod yn feddw; efe a ruthrai allan gyd â mwy rhifedi o wŷr ar Simon a'i blaid. A hyn a wnaeth bob amser yn y cyfryw fannau o'r ddinas ag a allai ddyfod attynt; nes iddo osod ar dân y tai hynny ag oedd lawn o*ŷd, a phob math o ymborth arall. Y cyffelyb a wnaethpwyd gan Simon, pan ar enciliad y llall y goddiweddodd y ddinas hefyd; fel pe buasent yn ei wneud yn bwrpasol er gwasanaeth i'r Rhufeiniaid, trwy ddifetha'r hyn a osodasai y ddinas i fynu yn erbyn y gwarchae neu'r cynllwyn; ac wrth hyn torri ymaith y gewynnau perthynol i'w grym a'u cynhaliaeth. Yn ganlynol, fe ddaeth o amgylch, ddarfod i'r holl leoedd o amgylch y deml gael eu llosgi i lawr; ac a ddaeth ar frys yn gyfwng anghyfanedd, a chyfleus i ymladd ar bob tu iddo: a llosgwyd, ynghylch i gyd, yr holl ymborth a wasanaethasai i warchaedigaeth o amryw flwyddau. Felly hwy a gymmerwyd trwy'r moddion yma o newyn; yr hyn nid oedd bosibl i gael ei wneud, pe na's gwnaethent ffordd i hynny trwy'r cyflawniad hwn o'u gwaith gwallgofus eu hunain.

Yn awr fel yr oedd y ddinas yn rhwym gan ryfel ar bob ochr, oddiwrth y tyrfaodd hyn o ddyion annuwiol; trigolion y ddinas ydoedd rhyngddynt, fel corph mawr, wedi ei wneud yn ddrylliau. Y gwŷr oedranus, a'r gwragedd oeddynt yn y fath gyfyngder trwy eu trallodion tufewnol, a'u bod yn hiraethu am y Rhufeiniaid; ac yn taer obeithio am ryfel oddi allan i'r ddinas, mewn trefn i beri ymwared iddynt oddi wrth fliuderau cartrefol. Y dinasyddion eu hunain oeddynt tan ddychrynedigaethau arswydus ac ofn. Ac nid oedd gyfleustra ganddynt i ymgynhori â'u gilydd, nac i newid eu sefyllfa. Ac nid oedd obaith am ddyfod i gyttundeb â'u gelynion: ac ni allai y rhai a chwennychai hynny gael lle i ffoi ymaith. Canys yr oedd gwylwyr wedi eu gosod ar bob lleoedd: a blaenoriaid yr yspeilwyr, er eu bod wedi ymranu y naill yn erbyn y llall mewn ystyriaethau eraill, etto'r oeddynt yn cyttuno i ladd y rhai ag ydoedd am heddwch â'r Rhufeiniaid, neu a debygent eu bod yn gogwyddo i ymadael â hwynt, fel eu gelynion cyffredin. Nid oeddynt yn cyttuo mewn dim ond hyn, sef i ladd y rhai oedd yn ddieuog. Hefyd sŵn y y rhai a ymladdent ydoedd i'w glywed yn ddibaid, wrth liw dydd a'r nos hefyd. Ond wylofain y rhai a alarnadent oedd yn rhagori ar y lleill. Ac nid oedd o hyd heb achos o alar yn eu mysg, o herwydd fod eu trallodau yn dyfod yn barhaus arnynt y naill ar gefn y llall; er bod y dwfn arswyd a'r braw yr oeddynt ynddo yn eu lluddias i wneuthur galar cyhoeddus tros eu gilydd megis gynt. Ond o herwydd gwneuthur iddynt, oblegid eu hofn, i guddio eu tristwch tufewnol, yr oeddynt yn gofidio yn eu meddyliau, heb feiddio agor eu gwefusau wrth ruddfan. Nid oedd gofal tros y rhai ydoedd etto yn fyw gan eu perthynasau; ac ni ofalai neb am gladdedigaeth y rhai a leddid. Yr achos o hyn i gyd ydoedd, fod pob un yn anobeithio am ei fywyd ei hun. Canys y rhai nad oedd ym mysg yr ymrysonwyr ni fawr chwennychent ddim, megis yn disgwyl yn sicr y byddai iddynt ar fyrder gael eu difetha. Ond am yr ymbleidwyr eu hunain, hwy a ymladdent â'u gilydd hyd yn oed pan sathrent ar gyrph meirwon, y rhai a orweddent yn bentyrrau y naill ar gefn y llall: a chan ymgynddeiriogi wrth y cyrph meirw hyn oedd dan eu traed, hwy a ymladdasant yn ffyr-

* Y distryw ar y fath fesur aneirif o ŷd, ac ymborth arall ag oedd ddigon i ddiwallu'r trigolion tros amryw flynyddau ydoedd yr achos digyfrwng o'r newyn arswydus, yr hwn a ddifethodd nifer anghredadwy Iuddewon yn amser y cynllwyn hwn yn Jerusalem. Ac ysgatfydd na's gallasai y Rhufeiniaid gymmeryd y ddinas hon, ar ol y cwbl, pe na buasai i'r Iuddewon ymrysongar hyn fod wedi gwallgofi cymmaint ag i ddifetha'r hyn a eilw Josephus yma, yn "gewynnau a grym eu cynhaliaeth."

niccach trwy hynny. Yr oeddynt ymhellach yn dyfeisio o hyd ryw beth neu gilydd a fyddai yn niweidiol iddynt eu hunain. A phan ddarlunient ryw ddistryw yn eu meddyliau, hwy a'u cyflawnent yn ddidrugaredd; ac ni adawsant yn ol arfer un math o boenydiau a chreulondeb. Ië, Ioan a wnaeth anmharch i'r defnyddiau * cyssegredig, ac a'u harferodd yngbyfansoddiad y peiriannau rhyfel. Canys y bobl a'r offeiriaid gynt a fwriadasent amddiffyn y deml, a chodi y tŷ sanctaidd yn uwch o ugain o gufyddau. Canys y brenin Agrippa, ar draul mawr, a chyd â llawer o lafur, a ddygasai yno y fath ddefnyddiau ag oedd gymmwys i'r pwrpas hwnnw: yn cynnwys y fath brennau o goed ag oedd yn werth eu hedrych, ymherthynas i'w huniondeb a'u maintioli. Ond a'r rhyfel yn dyfod ymlaen, ac yn rhwystr i'r gwaith, Ioan a archodd eu torri, a'u cymhwyso i wneuthur tŷrau, gan eu cael ganddo yn ddigonol o hyd, i wrthwynebu oddi arnynt y gelynion a ymladdai yn ei erbyn o'r deml ag ydoedd uwchlaw iddo. Parodd hefyd eu cymmeryd i adeiladu y tu ol i'r cyntedd nesaf i mewn,gogyfer a phen gorllewinol yr ystefyll-dai, pa ryw le yn † unig y gallai eu hadeiladu hwynt. Pan yr ydoedd ochrau eraill y cyntedd â chynnifer o risiau ganddynt, fel na adawent iddynt ddyfod yn ddigonol agos i'r stefyll-dai.

Y modd hwn y gobeithiodd Ioan orchfygu ei elynion â'r peiriannau hyn, a gyfansoddodd oddi ar ei ddidduwiaeth. Ond Duw ei hun a ddangosodd na fyddai i'w lafur fod o un defnydd iddo, trwy ddwyn y Rhufeiniaid ar ei wartha ef, cyn cyfodi un o'i dŷrau. Canys Titus wedi cael ynghyd ran o'i fyddin o'i amgylch, a pheri i'r lleill ei gyfarfod wrth Jerusalem, a gychwynodd allan o Cæsarea. Yr oedd ganddo gyd ag ef y tair llengau hynny a fuasent gyd â'i dad pan ddifrododd efeJudea; ynghyd â'r ddeuddegfed lleng a gurasid gynt gydâ Cestius: pa ryw leng, fel yr ydoedd mewn ystyr arall yn dra nerthol, felly y cychwynodd yn awr gyd â mwy o sirioldeb, i ddial ei hun ar yr Iuddewon; megis yn coffa am yr hyn a ddioddefasent gynt oddi wrthynt. O'r llengau hyn fe barodd i'r bummed ei gyfarfod ar ei fynediad trwy Emmaus, ac i'r ddegfed fyned i fynu trwy Jericho. Efe hefyd a symmudodd ei hun gyd â'r lleill oll. Heblaw pa rai y cynnorthwyadon oddi wrth y brenhinoedd, gan eu bod yn awr yn fwy mewn rhifedi na chynt, a wnaethant gychwynfa; ynghyd â nifer liosog a ddaethant yn gynnorthwy iddo o Syria. Y rhai hynny hefyd a ddewisasid allan o'r pedair llengau hyn, i fyned gyd â Mucianus i'r Ital, a lanwyd eu lleoedd i fynu â'r milwyr a ddaethant o'r Aipht gyd â Titus, y rhai oeddynt ddwy fil o ddynion, wedi eu dethol allan o'r fyddin yn Alexandria. Canlynwyd ef hefyd gan dair mil a dynnasid allan o'r gwarchawdlu a wylient yr afon Euphrates. Megis hefyd ag y daeth Tiberius Alexander, yr hwn oedd gyfaill iddo; a'r mwyaf defnyddiol, yn gystal o ran ei ewyllys da, a'i gallineb. Efe a fuasai gynt yn llywydd Alexdria; ond fe'i cyfrifwyd yn deilwng o fod yn gadflaenor tan Titus. Y rheswm o hyn ydoedd, oblegid mai efe oedd y cyntaf a annogodd Vespasian yn ddiweddar i wneud derbyniad o'r arglwyddiaeth; ac a ymunodd ag ef gyd â ffyddlondeb mawr, pan oedd pethau yn ansicr, a ffortun etto heb amlygu ei hun o'i ochr ef. Efe hefyd a ganlynodd Titus fel cynghorwr, ac a fu yn dra defnyddiol iddo yn y rhyfel hwn, yn gystal o ran ei oed, a'i gyfarwyddyd yn y fath fatterion.

## PENNOD II.

*Titus yn cyrchu i Jerusalem, ac mewn perygl tra'r ydoedd yn golygu'r ddinas. Am y lle hefyd ym mha un y gwersyllodd.*

YN awr fel yr oedd Titus yn ei gyrchfa i wlad y gelynion, y cynnorthwyadon a anfonwyd gan y brenhinoedd a aethant o'r blaen, a chanddynt yr holl gynnorthwyadon eraill gyd â hwynt. Ar ol hyn y dilynodd y rhai oeddynt i arloesi'r ffyrdd, ac i fesur allan y wersyllfa. Yna y dygwyd ym mlaen ddodrefn y blaenorion rhyfel; ac ar ol hynny eiddo'r milwyr, y rhai oeddynt mewn cyflawn arfogaeth i'w hamddiffyn. Yna y daeth Titus ei hun, a chanddo gyd ag ef gorph o wŷr detholedig eraill: ac

* Y prennau hyn, fel y gwelwn, a fwriadasid i ail-adeiladu yr ugain chwanegol o gufyddau y tŷ sanctaidd uwchlaw y cant, yr hwn a syrthiasai i lawr rai blynyddau o'r blaen. Gwel nod a'r Hynaf. XV. 11.

† Gan nad oedd un porth neu ddôr ar yr ochr orllewinol, ond yn unig ar du gorllewin cyntedd yr offeiriaid; felly'r ydoedd y lle arall heb risiau ynddo: dyna'r unig fan i ba un y gallai'r ymbleidwyr, tan Ioan o Gischala, ddwyn eu hoffeiynau mewn agosrwydd i'r ystefyll-dai wrth dalcen y cyntedd hwnnw; er eu bod ar lawr cyntedd Israel.

ynay canlynodd y piccellwyr. Ar eu hol hwynt y daeth y gwŷr meirch perthynasol i'r lleng honno. Y rhai hyn i gyd a aethant o flaen y peiriannau. Ac ar ol y peiriannau y canlynodd y tribuniaid, ac arweinwyr y minteioedd, gyd â'r cyrph dewisol o ryfelwyr. Ar ol y rhai hyn y dygwyd y bannerau, gyd ag arwydd yr eryr: ac o flaen y bannerau y daeth yr udganwyr a berthynent iddynt. Yn nesaf daeth ym mlaen brif-gorph y fyddin: a phob rhes yn chwech o drwch. Y gwasanaeth-ddynion perthynol i bob lleng a ddaethant ar ol y rhai hyn, a'r dodrefn o'u blaen hwynt. Y cyflogyddion a ddeuent yn ol hyn; a'u gwarchawdwyr a ddygent ym mlaen y fyddin olaf. Yn awr Titus, yn ol arfer y Rhufeiniaid, a aeth rhagddo yn nhuwyneb y fyddin, mewn modd prydferth, gan fyned rhagddo trwy Samaria, a Gophna, dinas a gymmerasid gynt gan ei dad, ac ydoedd y pryd hynny â gwersyll ynddi o filwyr Rhufeinaidd. Ac wedi llettŷa yno un noswaith, dilynodd yn y blaen y bore nesaf; ac wedi myned cyn belled a thaith diwrnod, fe wersyllodd yn y dyffryn a eilw'r Iuddewon, yn eu hiaith eu hunain, Dyffryn y drain, yn agos i ryw faesdref a elwid Gabaoth Saul; ystyr yr hyn yw bryn neu fynydd Saul; pa le sydd â'i belldra oddi wrth Jerusalem ynghylch deg ar hugain o stadau. Yno y bu iddo ddethol allan chwe chant o wŷr meirch, ac a aeth ym mlaen i gymmeryd golwg ar y ddinas, i weled o ba fath gadernid ydoedd, a pha mor gefnog ydoedd yr Iuddewon: pa un, wedi iddynt ei weled ef, a chyn dyfod i frwydr uniongyrch, a fyddai iddynt ddychrynu ac ymostwng. Canys fe hyspysasid iddo, yr hyn oedd wirionedd, fod y bobl, y rhai a syrthiasent tan awdurdod yr ymrysonwyr a'r yspeilwyr, yn mawr chwennychu heddwch: ond oblegid eu bod yn rhy egwan i gyfodi yn eu herbyn hwy a orweddent yn llonydd.

Yn awr, tra'r ydoedd yn marchogaeth ym mlaen ar hyd y ffordd uniawn oedd yn arwain at fur y ddinas, ni ymddangosodd neb y to allan i'r pyrth. Ond wedi iddo fyned allan o'r ffordd honno, a gogwyddo at y tŵr Psephinas, a thywys y llu o wŷr meirch ar hyd ffordd ŵyrdraws, aneirif rifedi o Iuddewon a neidiasant allan yn ddisymmwth o'r tŷrau hynny a elwid tŷrau y merched, trwy'r porth ag oedd gyferbyn a chôf-golofn y frenhines Helena, gan attal ym mlaen ei feirch: a chan sefyll yn gymmwys yn groes i'r rhai oedd yn myned gyd â brys ar hyd y ffordd, hwy a'u rhwystrent i ymgyssylltu â'r rhai a ŵyrasent allan o honi. Rhwystrasant Titus hefyd, gyd ag ychydig eraill. Yn awr, yr oedd yn ammhossibl iddo yma fyned ym mlaen: o herwydd fod y lleoedd oll â chloddiau neu ffosydd dyfnion ynddynt wedi eu cloddio oddiwrth y mur, i amddiffyn y gerddi oedd yno o amgylch; a'r rhai hynny â'u sefyllfa yn ŵyrdraws, a llawer o wrychoedd iddynt. Ac i ddychwelyd yn ol at ei wŷr ei hun, fe'i gwelodd yn ammhosibl hefyd, o herwydd lliosowgrwydd y gelynion oedd yn sefyll rhyngddynt. Llawer o ba rai ni wyddent fod y * brenin mewn dim perygl. Felly fe ganfu fod yn rhaid i'w achubiaeth ddyfod yn hollol oddiwrth ei wrolder; a chan droi ei farch o amgylch, a llefain allan yn uchel ar y gwŷr oedd gyd ag ef, parodd iddynt ei ganlyn ef: a gyrru a wnaeth yn chwyrn i ganol ei elynion, mewn trefn i wneuthur iddo ffordd trwodd at ei wŷr ei hun. Ac oddi yma y gallwn ddysgu yn bennaf, fod llwyddiant mewn rhyfel, a'r peryglon a ddichon i frenhinoedd fyned iddynt tan awdurdod rhagluniaeth Duw. Canys pan oedd y fath amlder o saethau yn cael eu hannelu at Titus, pan nad oedd ganddo ei ben-wisg neu helm, na'i ddwy-fronneg o'i amgylch: (canys efe a aethai allan nid i ymladd, ond i olygu'r ddinas:) ni chyffyrddodd un o honynt â'i gorph, ond a hedasant o'r neilldu, heb ei glwyfo ef: fel pe buasent oll yn ei fethu yn bwrpasol, a'r saethau yn unig yngwneuthur sŵn wrth fyned heibio iddo. Felly fe drodd ymaith â'i gleddyf yn barhaus y rhai a ddeuent at ei ochr i ymosod arno, ac a ddadymchwelodd lawer o'r rhai a gyfarfyddent ag

* Gallwn sylwi yma fod Titus yn cael ei alw yn frenin, ac yn Caesar gan Josephus, pan nad ydoedd ddim yn rhagor na mab ymerawdwr, a phenciwdawd y fyddin Rufeinig, a bod ei dad Vespasian etto yn fyw. Yn gymmwys fel y mae'r Testament Newydd yn dywedyd fod Archelaus yn teyrnasu, neu ei fod yn frenin, Math. ii. 22, er nad oedd yn briodol fwy nag ethnarc neu îs-lywydd, fel y mae Josephus yn sicrhau i ni, Hynaf. XVII. 11. Hanes y Rhuf. 11. Felly hefyd y galwai'r Iuddewon yr ymerawdwyr Rhufeinig yn frenhinoedd; er na chymerasent erioed y titl hwnnw arnynt. "Nid oes gennym ni frenin ond Cæsar." Ioan xix. 15. "Ymostyngwch i'r brenin megis goruchaf," 1 Pedr ii. 13, 17. Yr hyn hefyd yw iaith y Gosodedigaethau Efangylaidd, II. 11, 34. IV. 23. V. 19. VI. 3. 25. VII. 16. VIII. 2, 13 A lleoedd eraill yn y Testament Newydd, Math. x. 18. xvii. 25. 1 Tim. ii. 2, ac yn Josephus hefyd, Er-tybied o honof fod Josephus yn neilltuoi yn cyfrif Titus yn gyd-frenin a'i dad, wedi'r dwyfol freuddwydion a welodd eu harwyddo felly, III. 8.

ef yn ei wyneb, gan wneuthur i'w farch fyned tros y rhai a ddadymchwelid i lawr felly. Y gelyn yn wir a wnaethant floedd ar hyfdra Cæsar, gan annog eu gilydd i ruthro arno. Etto y rhai a farchogodd i'w herbyn a ffoesant o'i flaen, ac a aethant ymaith yn lliaws mawr. Pan y darfu i'r rhai ag oedd yn yr un perygl gadw yn agos atto, er eu harcholli yn eu cefnau a'u hochrau. Canys nid oedd gan bob rhai o honynt ond yr un gobaith hwn o ddiange, sef os gallent gynnorthwyo Titus i agor ffordd iddo ei hun, fel na chylchynid ef o gwmpas gan ei elynion, cyn iddo ymadaw â hwynt. Yn awr yr ydoedd dau o rai oedd gyd ag ef mewn ychydig bellder oddi wrtho; un o ba rai a amgylchwyd gan y gelyn, ac a laddwyd â'r piccellau, a'i farch hefyd. Ond y llall a laddasant, fel yr oedd yn disgyn oddi ar ei farch, yr hwn a gymmerasant ymaith gyd â'i gelain ef. Ond Titus a ddiangodd ynghyd â'r lleill, ac a ddaeth yn ddiangol i'r gwersyll. Felly y llwyddiant hwn a gafodd yr Iuddewon yn eu gwrthwynebiad cyntaf â'r Rhufeiniaid, a barodd iddynt ymddyrchafu yn eu meddyliau, trwy roddi iddynt beth gobaith disail: a'r gogwyddiad byr hwn o'r eiddo ffortun o'u plaid, a'u cefnogodd yn fawr gogyfer â'r amser i ddyfod.

Ond yn awr mor gynted ag y darfu i'r lleng a fuasai yn Emmaus uno â Cæsar yn y nos, fe ymsymmudodd ymaith wedi ei myned yn ddydd, ac a ddaeth i le a elwid Scopus: o ba le y dechreuodd y ddinas ddyfod eisoes i'r amlwg, a chawsant olwg eglur ar y deml fawr. Yn gaulynol y lle hwn, ar du gogleddol y ddinas, ac yn cyssylltu â hi, ydoedd gwm neu ddyffryn, a elwid gyd â chymmwysder Scopus, neu olygiad: ac nid ydoedd ychwaneg na saith ystadau o bellder oddi wrthi. Ac yma y parodd Titus i wersyllfa gael ei llunio, a'i hamddiffyn o amgylch i ddwy o lengau, ag oedd i gyd-sefydlu yno: ond fe orchymynodd i wersyllfa arall gael ei lluniaethu dair ystâd o bellder y tu ol i'r gwersyll cyntaf, yn sefyllfa i'r bummed lleng. Canys fe dybiodd, trwy deithio o honynt ar hyd y nos, y gallent fod yn flinedig; a bod yn gofyn iddynt gael eu gorchuddio rhag y gelyn, fel y gallent gyd â llai o arswyd sefydlu eu hunain. Ac fel yr oedd y rhai hyn yn awr yn dechrau adeiladu; y degfed lleng, yr hon a ddaethai trwy Jericho, ydoedd eisoes wedi dyfod i'r lle, ym mha un yr oedd plaid o wŷr arfog wedi ymsefydlu gynt; i wylio ar y dramwyfa honno i'r ddinas; ac a * gymmerasid o'r blaen gan Vespasian. Y llengau hyn a gawsant orchymmyn i wersyllu ar y mynydd a elwid † mynydd yr Olewydd, yr hwn sydd yn sefyll gyferbyn â'r ddinas, o du'r dwyrain; ac a wahenir oddi wrthi gan gwm neu ddyffryn dwfn, yn gorwedd rhyngddynt, yr hwn a elwid Cedron.

Yn awr hyd yn hyn yr amrywiol bleidiau neu bartïon yn y ddinas a ymgurent yn wastadol yn erbyn eu gilydd: ond y rhyfel dieithrol hwn wedi dyfod yn ddisymmwth arnynt, ac yn dra nerthol, a ddododd yr attalfa gyntaf ar eu hymryson y naill yn erbyn y llall. Ac fel yr oedd yr ymrysonwyr yn awr yn canfod, tan ryfeddu, y Rhufeiniaid yn gwersyllu mewn tri o fannau, hwy a ddechreuasant feddwl am ymuno â'i gilydd: ac a ddywedasant y naill wrth y llall, "Beth ydym yn ei wneuthur yma, a pheth a feddyliwn, pan ydym yn dioddef i dri o furiau amddiffynol gael eu gwneuthur i'n cuttio i mewn, fel na allom anadlu gyd â rhyddid; pan y mae'r gelyn gyd â diogelwch yn adeiladu math o ddinas yn wrthwyneb i ni: a thra'r ydym ni yn eistedd yn llonydd o fewn i'n muriau ein hunain, ac yn edrychwyr yn unig ar yr hyn y maent yn ei wneuthur, a'n dwylaw yn segur, a'n harfogaeth wedi eu gosod o'r neilldu; fel pe byddent ynghylch rhyw beth ag sydd er ein daioni a'n mantais. Yr ydym, fel yr ymddengys, yn unig yn ymwroli yn ein herbyn ein hunain; pan y mae y Rhufeiniaid yn debyg o ennill y ddinas heb dywallt gwaed, trwy ein hymryson ni." Fel hyn y darfu iddynt annog eu gilydd, wedi cyd-ymgyfarfod; ac ymwisgasant â'u harfau yn uniongyrch, gan ruthro allan ar y degfed lleng, a syrthio ar y Rhufeiniaid gyd ag ecrwch mawr, a chyd ag anferth floedd, pan oeddynt yn gwneuthur amddiffyniad i'w gwersyll. Y Rhufeiniaid hyn a ddaliwyd

* Gwel Llyfr IV. pen. 9.

† Y sefyllfa yma o fynydd yr Olewydd, ar du dwyrain Jerusalem, mewn pellder o gylch pump neu chwech o ystadau oddi wrthi, gyd â dyffryn Cedron yn gorwedd rhwng y mynydd hwnnw a'r ddinas, sydd bethau tra adnabyddus yn yr Hen Destament a'r Newydd; yn Josephus mewn lle arall, ac yn yr holl ddesgrifiadau o Palestina.

yn amryw bartïon, mewn trefn i gwblhau eu hamrywiol weithiau; ac ar y cyfrif hwnnw a ddarfuasai iddynt, mewn graddau mawr, ddodi eu harfogaeth heibio. Canys hwy a feddyliasant na anturiai'r Iuddewon ruthro arnynt: ac os byddent dueddol i wneuthur hyny, tybiasant y byddai i'w hymryson eu dyrysu hwynt. Felly hwy a ddodwyd mewn anhwyl yn annisgwyliadwy. Pan ymadawodd rhai â'r gorchwyl yr oeddynt yn ei gylch, ac yn ebrwydd a aethant ymaith; tra'r oedd eraill yn rhedeg at eu harfau, ond a darawyd ac a laddwyd cyn y gallent ddychwelyd i wrthwynebu'r gelyn. Yr Iuddewon a chwanegasant fwyfwy mewn rhifedi, wedi eu hannog gan y llwyddiant a gawsai y rhai a wnaeth yr ymosodiad cyntaf. A phan gawsant y fath ffortun dda, hwy a ymddangosasant iddynt eu hunain, ac i'r gelyn, yn fwy mewn rhifedi nag oeddynt. Y dull afreolaidd o'u hymladdiad a ddododd y Rhufeiniaid tros amser tan syndod, y rhai yn wastadol a arferent ymladd yn drefnus ac wrth reol; trwy gadw yn eu rhesau, ac ufuddhau i'r gorchymmyn a roddid iddynt. Trwy ba reswm y goresgynasant y Rhufeiniaid yn annisgwyliadwy, fel y gorfu iddynt gilio yn eu gwrthol gan yr ymosodiad a wnaethpwyd arnynt. Yn awr, wedi goddiweddu y Rhufeiniaid y modd hwn, a dychwelyd o honynt drachefn yn erbyn yr Iuddewon, hwy a roesant attaliad ar eu cynniweirfa: etto pan na chymmerasant ofal ddigon am danynt eu hunain, trwy danbeidrwydd eu herledigaeth, hwy a archollwyd ganddynt. Ond etto fel yr oedd ychwaneg fyth o Iuddewon yn rhuthro o'r ddinas, y Rhufeiniaid o'r diwedd a ddodwyd i annhrefn, ac a wnaethpwyd i ffoi, a diangc ymaith o'u gwersyllfa. Ië, fe ymddangosodd pethau yn wir fel pe buasai yr holl leng mewn enbydrwydd, oddi eithr ddarfod i Titus gael ei wneud yn hyspys o'r amgylchiad yr oeddynt ynddo, a danfon o hono gynnorthwyon iddynt yn uniongyrch. Felly fe'u gwaredwyddodd hwynt am eu gwangalondid; a dygodd yn ol y rhai a ffoisant ymaith: a syrthiodd ei hun ar yr Iuddewon yn ystlys eu byddin, gyd â'r llu detholedig oedd yn ei gylch; a lladdodd rifedi nid bychan o honynt, gan glwyfo llawer yn rhagor: ac efe a'u dododd hwynt i gyd i ffoi, fel y rhedasant ymaith gyd â brys i lawr y dyffryn. Yn awr megis ag y dioddefodd yr Iuddewon hyn yn fawr yngoriwared y dyffryn, felly wedi myned trosto hwy a droesant yn eu gwrthol, ac a safasant gyferbyn â'r Rhufeiniaid, a chanddynt y dyffryn rhyngddynt, ac yno a ymladdasant â hwynt. Fel hyn y parhasant i ymladd hyd ganol dydd: ond pan ydoedd eisoes ychydig ar ol hanner, Titus a osododd y rhai a ddaethent yn gynnorthwyon i'r Rhufeiniaid gyd ag ef, a'r rhai a berthynent i finteioedd y Cohortiaid, i rwystro'r Iuddewon i wneuthur ychwaneg o ruthriadau: ac yna a ddanfonodd weddill y lleng i gwrr uchaf y mynydd, i orphen amddiffynfa eu gwersyll.

Yr ymadawiad yma o'r Rhufeiniaid a ymddangosedd i'r Iuddewon yn ffoedigaeth. Ac fel yr oedd y gwyliedydd, yr hwn a osodasid ar y mur, yn rhoddi arwydd, trwy ysgwyd ei wisg, daeth lliaws newydd o Iuddewon allan o'r ddinas; a'r rhei'ny gyd â'r fath rym trachwyrn, fel y gellid cydmaru eu mynediad i redfa bwystfilod gwylltion. I ddywedyd y gwir, ni allai neb o'r rhai a'u gwrthwynebent oddef y cynddeiriogrwydd â'r hwn y gwnaethant eu hymosodiadau: ond, fel pe buasent wedi eu gyrru yno gan y peiriant, hwy a dorrasant resau'r gelynion yn ddarnau, y rhai a wnaethpwyd i ffoi, ac i redeg ymaith i'r mynydd: neb ond Titus ei hun, ac ychydig eraill gyd ag ef, a adawsid ynghanol y serth-allt. Yn awr y lleill, ag ydoedd gyfeillion iddo, a ddiystyrasant y perygl yr oeddynt ynddo: a chan gywilyddio gadael eu penciwdawd, hwy a'i taer-annogasant, "I roddi lle i'r Iuddewon, y rhai oedd hoff ganddynt farw; a pheidio rhedeg i'r fath beryglon heibio y rhai a ddylent fyned o'i flaen, ac ystyried beth ydoedd ei ffortun: ac nid trwy gymmeryd lle milwr cyffredin, i anturio troi yn ol i wyneb y gelyn mor ddisymmwth. A hynny oblegid ei fod yn llywydd y rhyfel, ac yn arglwydd y ddaear gyfanneddol; ar achubiaeth pa un yr oedd yr achosion cyffredin i gyd yn ymddibynnu." I'r perswadiad hwn ni ddarfu i Titus gymmaint a dangos gwrandawiad: ond fe wrthsafodd y rhai a redent ar ei warthaf, gan eu harcholli ar eu hwynebau: ac wedi gwneuthur iddynt fyned yn ol, fe'u lladdodd hwynt. Goresgynodd hefyd nifeiri mawr a ddenent trwy oriwared y mynydd, gan eu gwthio yn eu

blaenau; pan ddarfu i'r dynion hynny ryfeddu cymmaint wrth ei wrolder a'i nerth, fel na's gallent ffoi yn uniongyrch i'r ddinas, ond a giliasant oddi wrtho ar bob tu; ac a ddilynasant y rhai a aethant i fynu i'r rhiw. Etto efe fyth a syrthiodd ar ystlysau eu lluoedd, ac a ddododd derfyn ar gynddeiriogrwydd eu rhuthrau. Yn y cyfamser, rhyw annhrefn a dychryn a syrthiodd drachefn ar y rhai oedd yn ymddiffyn eu gwersyll ar frig y mynydd, wrth weled y rhai islaw iddynt yn diangc ymaith. Yn gymmaint ag y darfu i'r holl leng honno ymwasgaru; pan feddyliasant fod rhuthriadau yr Iuddewon ar y rhai hynny, ag oedd i'w weled mor amlwg, yn anoresgynol; a bod Titus ei hun wedi ei ddodi i ffoi ymaith. O herwydd iddynt ei gymmeryd yn ganiattaol, pe buasai efe wedi aros yn ol, na buasai y lleill yn ffoi ar y cyfrif hwnnw.

Fel hyn yr oeddynt wedi eu hamgylchu ar bob tu â math o ddychryn disymmwth; a rhai a wasgarasant eu hunain un ffordd, ac eraill ffordd arall, nes i ryw rai gaufod eu penciwdawd ynghanol brwydr: a chan eu bod tan ofn mawr am dano, hwy a gyhoeddasant yn uchel y perygl yr oedd ynddo i'r holl leng. Ac yn awr cywilydd a barodd iddynt ddychwelyd yn ol, ac a wnaeth iddynt waradwyddo eu gilydd, am ymddwyn yn waeth na diangc ymaith, trwy adael Cæsar. Felly hwy a arferasant eu holl egni yn erbyn yr Iuddewon: a chan droi o'r union oriwared, hwy a'u gyrrasant yn bentyrau o'u blaen i lawr i waelod y dyffryn. Yna y trodd yr Iuddewon o amgylch, ac a ymladdasant â hwynt; eithr hynny ydoedd ar eu henciliad eu hunain ymaith. Ac yn awr fel yr oedd mantais sefyllfa'r tir gan y Rhufeiniaid, a'u bod uwchlaw'r Iuddewon, hwy a'u gyrrasant oll i'r dyffryn. Titus hefyd a bwysodd ar y rhai oedd agos, ac a ddanfonodd y lleng drachefn i amddiffyn eu gwersyllfa. Tra y darfu iddo ef, a'r rhai a fuasai gyd ag ef o'r blaen, wrthwynebu y gelyn, a'u cadw rhag gwneuthur niweid ymhellach. Yn gymmaint, os na chaniateir i mi ddywedyd dim oddiar weniaeth, na lleihau un peth trwy gynfigen, ond i adrodd y gwirionedd yn eglur, ddarfod i Cæsar ddwywaith achub yr holl leng honno ag oedd mewn enbydrwydd; ac a barodd iddynt gyfleus lonyddwch i orphen amddiffynfa eu gwersyll.

## PENNOD III.

*Am adfywiad yr ymryson yn Jerusalem; y maglau a ddyfeisiwyd i'r Rhufeiniaid: a'r moddion a arferwyd gan Titus i attal byrbwylldra anllywodraethus ei luoedd.*

FEL ag yr oedd y rhyfel oddiallan yn awr wedi llonyddu tros ychydig, yr ymryson oddi mewn a adfywiwyd. Ac ar ŵyl y bara croyw, ag oedd yn awr wedi dyfod o amgylch, y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis Xanthicus, neu Nisan, * pa amser yr ydys yn credu ddarfod rhyddhau yr Iuddewon gyntaf oddiwrth yr Aiphtiaid; Eleazar a'i blaid a agorasant byrth cyntedd tufewnol y deml, gan adael i † gynnifer o'r bobl a'r a ewyllysient fyned i mewn i addoli Duw. Ond Ioan a ddefnyddiodd yr ŵyl hon fel cochl i'w amcanion bradwriaethus gan arfogi y rhai mwyaf anystyriol o'i blaid ei hun, y rhan fwyaf o ba rai ni phurasid, gyd ag arfau yn guddiedig tan eu gwisgoedd, ac a'u danfonodd gyd â sel fawr i'r deml, mewn trefn i'w meddianu hi. Yn ganlynol y gwŷr hyn wedi dyfod o honynt i mewn iddi, a daflasant eu gwisgoedd heibio, ac a ymddangosasant yn ebrwydd yn eu harfogaeth. Ar yr hyn y bu derfysg mawr a chynnwrf o amgylch y tŷ sanctaidd; tra'r oedd y bobl na pherthynent ddim i'r ymblaid, yn dychymmygu fod yr ymosodiad hwn arnynt i'w herbyn oll, heb ddim gwahaniaeth, megis hefyd y meddyliodd y brwdfrydwyr ei fod yn eu herbyn hwy yn unig. Felly gadawsant heibio warchod y pyrth ddim yn hwy; ac a neidiasant i lawr oddi ar y mur-ganllawiau, cyn dyfod o

* B. A. 70.

† Yma y gwelwn yr achos o'r fath aneirif rifedi o'r Iuddewon ag ydoedd yn Jerusalem, yn amser ei chyullwyn neu warchaedigaeth gan Titus, ac a ddifethwyd ynddo; ddarfod i'r cynllwyn ddechreu ar ŵyl y Pasg: pan oedd y fath anferth liaws o Iuddewon, a phroselytiaid y pyrth wedi dyfod o holl barthau Judea, ac o wledydd eraill, mewn trefn i gynnal yr ŵyl fawr honno. Gwel y nod ar VI. 9. Tacitus ei hun sydd yn hyspysu i ni, fod nifer y dynion, merched a phlant yn Jerusalem, pan warchaewyd arni gan y Rhufeiniaid, fel yr hyspysasid iddo, yn 600,000. Yr hyspysrwydd hwn oedd raid ei fod wedi ei gael oddi wrth y Rhufeiniaid; canys nid yw Josephus fyth yn crybwyll am eu rhifedi. Yn unig y mae'n gadael i ni wybod am y cyffrediu a ddygwyd allan yn feirw trwy'r pyrth ac a'u claddwyd ar draul cyhoeddus, eu bod yn gyffelyb nifer o 600,000 pen. 13. Pa fodd bynnag pan ddaeth Cestius Gallus i warchae yno, nid yw y nifer yn Tacitus mewn un ffordd yn anghyttuno â Josephus; er eu bod wedi dyfod yn llawer mwy lliosog, pan amgylchodd Titus y ddinas ar ŵyl y Pasg. Am y nifer a ddifethwyd, yn ocd y cynllwyn hwn, Josephus a sicrha i ni yn ol hyn eu bod yn 1,100,000; heblaw 97.000 a gymmerwyd yn gaethion. Ond hanes Tacitus am y rhan olaf o'r cynllwyn hwn nid yw yn awr mewn bod. Felly ni allwn gydmaru eu nifer gogyfartal â'r un hynny yn Josephus.

honynt i ymladdfa, ac a ffoisant ymaith i'r gwagle daearol ydoedd tan y deml; tra'r oedd y bobl ag oedd yn sefyll yn grynedig wrth yr allor, ac o amgylch y tŷ sanctaidd, yn cael eu gwthio yn mlaen yn bentyrrau, a sathru arnynt, a'u curo ag offerynau coed a heiyrn yn ddidrugaredd. Y cyfryw hefyd oedd ag amrafael rhyngddynt ag eraill, a laddasant amryw bersonau a eisteddant yn llonydd, oddiwrth eu hunan-elyniaeth a'u casineb, ac os byddent â gwrthwyneb i'r * ymbleidwyr. A'r holl rai a droseddasant o'r blaen yn erbyn rhai o'r bradwyr hyn, a adweinid yn awr, ac a arweinid ymaith i'r lladdfa. Ac wedi iddynt wneuthur llawnder o ddrwg echryslón i'r rhai dieuog, hwy a roesant seibiant i'r rhai euog; ac a adawsant i'r rhai hynny a ddaethant o'r ogofeydd fyned ymaith. Y canlynwyr hyn i Ioan a ddarfu iddynt yn awr oresgyn y deml dufewnol, a'r holl offerynau rhyfel oedd yn nghadw ynddi; ac yna a anturiasant wrthwynebu Simon. Ac fel hyn yr ymrysoniaid hynny, y rhai a wahanasid yn dair o bleidiau, a ddychwelwyd yn awr yn ddwy.

Ond a Titus yn bwriadu gwersyllu yn nes i'r ddinas na Scopus, a osododd gynnifer o'i wŷr meirch a gwŷr traed dewisol, ag a dybiodd yn ddigon gyferbyn a'r Iuddewon, i ragflaenu eu rhuthriad allan arnynt, tra'r oedd yn gorchymmyn i'r holl fyddin i wastadhau'r ffordd cyn belled a mur y ddinas. Felly hwy a symmudasant ymaith yr holl wrychoedd a'r cloddiau a wnaethid gan y trigolion o gwmpas eu gerddi a'u llwyni coed; a thorrasant i lawr eu holl goed ffrwythau ag oedd yn sefyll rhyngddynt a mur y ddinas; a llanwasant i fynu bob pantiau a gwag-leoedd yn y ddaear; a drylliasant leoedd serth a chreiglyd â'u hofferynau heiyrn; ac wrth hynny a wnaethant yr holl le yn wastad o Scopus at gof-golofnau Herod; pa rai oedd yn cyssylltu â llŷn, yr hwn a elwid Llŷn y Sarph.

Yn awr, ar yr amser hwn yr Iuddewon a luniasant y ddyfais ganlynol yn erbyn y Rhufeiniaid. Y rhai hyfaf o'r ymbleidwyr a aethant ar y tŷrau, a elwid Tŷrau y Merched, megis pe buasent wedi cael eu bwrw allan o'r ddinas gan y rhai ydoedd am heddwch: a chrwydrasant o amgylch fel pe buasent yn ofni eu gorddiwes gan y Rhufeiniaid, a than arswyd y naill o'r llall; tra'r oedd y rhai a safent ar y mur, ac yn ymddangos fel o du'r bobl, yn llefain yn uchel am heddwch: gan ddeisyf am i sicrwydd o'u bywydau gael ei roddi gan y Rhufeiniaid, ac addaw agoryd y pyrth iddynt. Ac fel yr oeddynt yn llefain allan yn y modd hwnnw, hwy a ergydiasant gerrig at eu gwŷr eu hunain, fel pe buasent am eu gyrru ymaith oddiwrth y pyrth. Y rhai hyn hefyd a gymerasant arnynt eu bod yn cael eu gyrru ymaith trwy orfod; a deisyf o honynt ar y rhai oddi mewn eu gollwng trwy'r pyrth: a chan ruthro amryw weithiau ar y Rhufeiniaid gyd â thrais, dychwelent yn ol wedi hynny, ac a ymddangosent mewn mawr flinder. Yn awr, y milwyr Rhufeinig a dybiasant fod y cyfrwysdra yma i'w gredu am wirionedd: a chan farnu fod ganddynt y naill blaid tan eu hawdurdod, ac y gallent eu cospi fel y mynnent: a chan obeithio yr agorai y blaid arall y pyrth iddynt, hwy a ymosodasant yn nghylch cyflawni eu hamcan yn ganlynol. Ond am Titus ei hun, yr oedd yr ymddygiad rhyfedd hwn o eiddo'r Iuddewon mewn amheuaeth ganddo. Canys wedi iddo roddi gwahoddiad iddynt y dydd o'r blaen, i ddyfod i ammodau o gymmodlonedd, trwy Josephus, ni fedrodd y pryd hynny gael un attebiad cymmedrol ganddynt. Felly fe orchymmynodd i'r milwyr aros lle'r oeddynt. Pa fodd bynnag rhai ag oedd a'u sefyllfa y tu-wyneb i'r gweithiau a'i rhagflaenasant ef: a chan gipio ymaith eu harfau, hwy a redasant at y pyrth.

Ar hyn y rhai a ymddangosasent eu bod wedi eu bwrw allan gyntaf, ar y dechrau a giliasant ymaith: ond cyn gynted ag y daeth y milwyr rhwng y tŷrau o bob tu i'r porth, yr Iuddewon a redasant allan, ac a'u hamgylchasant hwynt, ac a syrthiasant arnynt o'r tu ol: tra yr oedd y lliaws hynny a safent ar y mur yn bwrw cawodydd o gerrig a phiccellau o bob rhyw arnynt; fel ag y lladdwyd o honynt nifer mawr, ac y clwyfwyd ychwaneg. Canys nid hawdd oedd i'r Rhufeiniaid ddiangc; o herwydd eu gyrru yn mlaen gan y rhai oedd y tu cefn iddynt. Heblaw hyn y cywilydd ag oedd arnynt oblegid eu cam-gymmeriad. Ar yr hyn hwy a ymladdasant â'u gwaewffyn tros amser

* Plaid Ioan a elwid yn awr felly, er mwyn eu gwahaniaethu oddi wrth y brwdfrydwyr tan Eleazar.

hir, ac a gawsant amryw archollion gan yr Iuddewon; er yn wir iddynt roi cynnifer o ergydion iddynt drachefn; ac o'r diwedd a yrasant ymaith y rhai a'u hamgylchai: pan ddarfu i'r Iuddewon eu herlid hwy drachefn ar eu henciliad; gan eu canlyn, a bwrw piccellau attynt cyn belled a chof-golofn y frenhines Helena.

Wedi hyn yr Iuddewon yma, heb ddangos un math o weddeidd-dra, a dyfasant yn drahaus oddi wrth eu llwyddiant, ac a watwarasant y Rhufeiniaid am gymmeryd eu twyllo gan y rhith ymddangosiad a wnaethent: a chan wneuthur sŵn uchel trwy guro eu tariannau, hwy a lamasant o lawenydd a gorfoledd. Yn y cyfamser, y milwyr Rhufeinig a fygythiwyd gan eu swyddogion; a chyd â digter gan Cæsar ei hun, yr hwn a lefarodd wrthynt y modd yma: "Yr Iuddewon hyn, pa rai a arweinir yn unig gan eu gwallgofrwydd, ydynt yn gwneuthur pob peth gyd â gofal a gocheliad; maent yn llunio dichellion, ac yn gosod cynllwynion: a ffortun a ganiattâ lwyddiant i'w dyfeisiau o herwydd eu hufudd-dod, a'u bod yn cynnal ewyllys da a ffyddlondeb y naill tu ag at y llall. Pan y mae'r Rhufeiniaid, i ba rai yr arferodd ffortun fod bob amser yn wasanaethgar ar gyfrif eu trefn dda, a'u parod ymostyngiad i'w llywiawdwyr, yn awr wedi cyfarfod ag aflwyddiant, trwy eu gwrthwyneb ymddygiad; ac wrth fod yn analluog i attal eu dwylaw rhag ymladd, hwy a ddaethant i ddalfa: a'r hyn sydd fwyaf er eu cywilydd, hwy a aethant ymlaen heb eu blaenoriaid yngwydd Cæsar. Yn ddiau nis gall cyfreithiau rhyfel amgen na thrwm ocheneidio, megis ag y gwna fy nhad ei hun, pan hyspysir iddo am yr archoll hwn a gawsom; gan na's darfu iddo ef, ag sydd wedi tyfu yn oedranus mewn rhyfeloedd, erioed wneuthur y fath gam-gymmeriad. Ein cyfreithiau rhyfel sydd hefyd bob amser yn dodi cosp marwolaeth ar y sawl a dorrant, yn yr hyn leiaf, i mewn i drefniadau uniawn; pan, yn y pryd presennol, y maent wedi canfod byddin gyfan wedi rhedeg i annhrefn. Pa fodd bynnag, y rhai ag a fuont mor rhyfygus a wneir iddynt deimlo yn fuan, fod, hyd yn oed y rhai a fuddugoliaethant ym mhlith y Rhufeiniaid, heb orchymmyn i ymladd, tan gerydd."

Wedi i Titus ymhelaethu ar y mater hwn ger bron blaenoriaid y fyddin, fe ymddangosodd yn amlwg y dodai'r gyfraith mewn gweithred yn erbyn y rhai y perthynai iddynt. Felly y milwyr hynny oeddynt mewn anobaith, megis tan ddisgwyliad am eu rhoddi i farwolaeth, a hynny gyd â chyfiawnder, yn ebrwydd. Pa fodd bynnag, y llengau eraill a grynhoisant o amgylch Titus, gan erfyn am ei ffafr i'w cyd-filwyr hynny; a gwneuthur ymbiliau atto, am iddo faddeu byrbwylldra ychydig nifer, ar gyfrif rhagorach ufudd-dod y lleill; gan addaw trostynt y gwnaent dâl am eu bai presennol, trwy eu hymddygiad mwy rhinweddol mewn amser i ddyfod.

Felly Cæsar a gydsyniodd â'u dymuniadau, a'r hyn a ddangosodd callineb iddo hefyd. Canys fe gyfrifodd yn gymmwys i gospi dynion unigol am feiau personol; ond na ddylai cosp lliaws ynghyd fyned ymhellach na cheryddon. Felly efe a ymgymmododd â'r milwyr; ond a roddodd rybudd neillduol iddynt i ymddwyn yn ddoethach mewn amserau i ddyfod. Ac efe a ystyriodd ynddo ei hun pa fodd i ddyfod yn gydwastad â'r Iuddewon am eu diweddar ddichell. Ac yn awr wedi i'r cyfwng o dir rhwng y Rhufeiniaid a'r mur gael ei wneud yn gydwastad, yr hyn a gyflawnwyd mewn pedwar o ddyddiau: ac fel yr oedd yn ewyllysio trosglwyddo dodrefn y fyddin, gyd â gweddill y lliaws oedd yn ei ganlyn, yn ddiangol i'r gwersyll; fe osododd y rhan gadarnaf o'i fyddin gyferbyn â'r mur hwnnw oedd yn gorwedd ar du gogleddol y ddinas, ac ar gyfer y rhan orllewinol o honi; gan osod rhesau ei fyddin yn wyth ŵr o drwch; gyd â'r gwŷr traed ym mlaenaf, a'r gwŷr meirch o'u hôl; y rhai diwaethaf yn dair o resau: tra'r oedd y saethyddion yn sefyll yn y canol yn saith o resau. Ac yn awr fel yr oedd yr Iuddewon yn cael eu hattal gan gorph mor lliosog o ddynion i wneud rhuthr ar y Rhufeiniaid, yr anifeiliaid y rhai a gludent y beichiau perthynol i'r tair lleng o filwyr, gyd â'r gweddill o'r lliaws a'u dilynent ef, a aethant rhagddynt yn ddi-ofn. Ond am Titus ei hun, nid ydoedd ond ynghylch dwy o 'stadau oddiwrth y mur, ar y rhan hwnnw o hono a elwid y gongl, a chyferbyn a'r tŵr a elwid Psephinus, ar ba gongl cwmpas y mur perthynol i'r gogledd ydoedd a thro ynddo, ac a ymestynai gyferbyn

â'r gorllewin. Ond y rhan arall o'r fyddin a ymddiffynodd ei hun wrth y tŵr a elwid Hippicus; ac ydoedd a'i bellder yr un modd yn ddwy o 'stadau o'r ddinas. Pa fodd bynnag y degfed lleng a arhosodd yn ei lle ei hun, ar fynydd yr Olewydd.

## PENNOD IV.

*Descrifiad o Jerusalem.*

DINAS Jerusalem ydoedd wedi ei hamddiffyn â thri o furiau, yn y cyfryw fannau a'r nad oeddynt yn gynnwysedig o bantau neu gymmoedd annhramwyol: canys ar y cyfryw leoedd nid ydoedd iddi ond un mur. Y ddinas oedd wedi ei hadeiladu ar ddau o fryniau neu fynyddau gogyfer a'u gilydd; a chanddi waelod neu ddyffryn yn eu gwahanu y naill oddiwrth y llall: ym mha waelod neu gwm y mae terfyn yr adeiladau perthynol i bob un o honynt. O'r mynyddau hyn, yr un a gynnwys y ddinas uchaf sy'n rhagori llawer ar y llall mewn uchder, ac yn ei hŷd yn uniawnach. Yn ganlynol, y lle hwn a elwid y tŵr gan y brenin Dafydd. Efe ydoedd dad y Solomon hwnnw a adeiladodd y deml gyntaf. Ond fe'i gelwir gennym ni y farchnadfa uchaf. Eithr y mynydd arall, yr hwn a elwid Acra, ar ba un y saif y ddinas isaf, sydd ar lun lleuad, pan ymddangoso megis a chyrn ganddi. Gyferbyn â hwn yr ydoedd trydydd fynydd, yr hwn oedd, o ran ei sefyllfa, yn is nag Acra, ac a wahanid oddiwrtho gynt gan waelod neu bantle llydan. Pa fodd bynag, yn yr amserau hynny, pan oedd yr Asmoneaid yn teyrnasu, hwy a lanwasant y pantle hwnnw i fynu â daear, gan fwriadu cyssylltu'r ddinas â'r deml ynghyd. Symudasant ymaith y pryd hynny ran o fannau uchaf Acra, ac a'i gwnaethant yn llai o uchder nag o'r blaen, fel y byddai 'r deml yn rhagori arno mewn amlygrwydd. Yn awr, dyffryn masnachwyr y caws, megis y gelwid un lle yr hwn a ddywedasom o'r blaen, ei fod yn gwahaniaethu uchelfa y ddinas uchaf oddiwrth yr isaf, a gyrhaeddai mor bell a Siloam. Canys dyna yw enw ffynhonnell sydd â dwfr peraidd ynddi, a hwnnw hefyd mewn llawnder mawr. Ond ar eu hochrau allanol y bryniau neu'r mynyddau hyn a amgylchir â dyffrynoedd dyfnion; ac oblegid y goriwared perthynol iddynt ar bob tu, y maent yn annhrammwyol.

Yn awr, am y tri o furiau, pa rai a amgylchynai'r ddinas, yr un hynaf o honynt oedd anhawdd ei gymmeryd yn gystal o herwydd isder y dyffrynoedd cylchynedig ac uchder y mynydd ar ba un yr adeiladid hi, oddi arnynt. Ond heblaw y fantais fawr honno, ymherthynas i'r lle ar ba un y safent, yr ydoedd hefyd o wneuthuriad tra chadarn: o herwydd fod Dafydd a Solomon, a'r brenhinoedd canlynol, yn eithaf gofalus ynghylch y gwaith hwn. Yn awr, dechreuad y mur hwnnw ydoedd ar du'r gogledd, wrth y tŵr a elwid Hippicus, ac yn cyrraedd mor bell a'r Xistus, lle a elwid felly; ac yna gan gyssylltu â'r cynghordŷ, yn diweddu wrth ystafelldŷ gorllewinol y deml: ond os eir y ffordd arall tu â'r gorllewin, ei dechreuad oedd o'r un lle; a'i mynediad trwy le arall a elwid Bethso hyd borth yr Esseniaid: ac ar ol hynny yr oedd ei mynedfa tu â'r dehau, a'i throad goruwch llyn neu ffynnon Siloam: ym mha le y mae hefyd â'i throad drachefn tu â'r dwyrain wrth lyn Solomon; ac yn cyrraedd mor bell a lle pendant a elwid Ophlas, ym mha fan yr ymgyssylltai âg ystafelldŷ dwyreiniol y deml. Yr ail fur oedd yn cymmeryd ei ddechreuad o'r porth hwnnw a alwent Gennath, pa un oedd yn perthyn i'r mur cyntaf. Yr ydoedd yn unig yn cylchynu rhan ogleddol y ddinas, ac yn cyrraedd mor bell a thŵr Antonia. Dechreuad y trydydd fur ydoedd wrth y tŵr Hippicus, o ba le y cyrhaeddai mor bell â'r tu gogledd i'r ddinas, a'r tŵr Psephinus: ac oddi yno yr oedd ei gyrhaeddiad yn parhau, nes ei ddyfod gyferbyn a chof-golofnau Helena, brenhines Adiabene,* mam Izates.

Yr oedd wedi hynny yn ymestyn ryw hyd mawr ymhellach, a'i fynedfa heibio i ogofeydd beddau y brenhinoedd; a throad iddo drachefn wrth dŵr y gongl, gerllaw cof-golofn y †panwr: ac yn cyssylltu â'r hên fûr yn y pant neu'r dyffryn, a elwid Dyffryn Cedron. Agrippa ydoedd yr un a amgylchynodd y mannau a chwanegwyd at yr hen ddinas â'r mur hwn, y rhai oeddynt oll yn agored o'r blaen. Canys fel yr oedd y ddinas yn tyfu yn fwy poblogaidd, aeth yn raddol tu hwnt i'w hen derfynau; a'r parthau hynny

* Gwel Hynaf. XX. 2.

† Gwel 2 Bren. xviii. 17.

ag oedd yn sefyll yn ogleddol oddi wrth y deml, ac yn cyssylltu y mynydd hwnnw â'r ddinas, a'i parodd yn llawer helaethach; ac a fu yn achos i'r mynydd hwnnw, yn rhifyn y pedwerydd, ac a elwir * Bezetha, i gael hefyd ei breswylio. Y mae'n gorwedd gyferbyn â thŵr Antonia: ond a wahanir oddi wrtho gan gwm dwfn, yr hwn a gloddiasid yn bwrpasol: a hynny mewn trefn i luddias sylfeini tŵr Antonia i gyssylltu â'r mynydd, ac wrth hynny peri cyfleustra i nesbau atto gyd â hawsder, a bod yn anfantais i'r diogelwch a darddai oddi wrth ei uwch sefyllfa. Am ba reswm hefyd y dyfnder hwnnw o'r gwagle a barodd i uchder y tŷrau ymddangos yn fwy hynod. Adeiladaeth newydd y rhan yma o'r ddinas a elwid Bezetha, yn ein hiaith ein hunain, yr hyn os cyfieithir i'r iaith Roeg, a ellir ei alw y Ddinas Newydd. A chan fod ei breswylwyr yn sefyll mewn angenrheidrwydd o amddiffyniad, tad y brenin presennol, o'r un henw ag ef, Agrippa, a ddechreuodd y mur hwnnw a soniasom am dano. Ond efe a adawodd heibio ei adeiladu wedi iddo yn unig osod ei sylfeini, oddi ar yr ofn yr ydoedd ynddo o Claudius Cæsar; rhag drwg-dybio o hono i fod mur mor gadarn yn cael ei gyfodi, mewn trefn i wneuthur rhyw gyfnewidiad yn yr achosion cyhoeddus. Canys ni ellid mewn un ffordd gymmeryd y ddinas, pe gorphenasid y mur hwnnw yn y dull y cafodd ei ddechrau; gan fod ei rannau yn cael eu cyd-gyssylltu â meini ugain cufydd o hyd, a deg o led; y rhai ni allasid fyth yn hawdd eu diwadnu gan un math o offerynau heiyrn, neu eu siglo â pheirianau. Y mur ydoedd, pa fodd bynnag, yn ddeg cufydd o led, ac fe fuasai ysgatfydd yn fwy na hynny o uchder, pe na buasai i sel yr hwn a'i dechreuodd gael ei lwfrhau, a'i luddias i wneuthur ychwaneg o ymdrech. Ar ol hyn fe'i hadeiladwyd trwy ddiwydrwydd mawr gan yr Iuddewon, cyn ucheled ag ugain o gufyddau; oddi ar hyn yr oedd iddo ganllawiau o ddau gufydd, a thŷrau bychain o dri: yn gymmaint a gwneuthur yr holl uchder i gyrraedd cyn belled â phump ar hugain o gufyddau.

Yn awr y tŷrau ag oedd ar y mur a fesurent ugain cufydd o led, ac ugain cufydd o uchder: Yr oeddynt yn bedwar onglog ac yn gadarn, megis yr oedd y mur ei hun: yna yr oedd un cywreinrwydd y cyssylltiadau, a harddwch y meini nid ydoedd mewn un modd yn llai na'r hyn a berthynai i'r tŷ sanctaidd ei hun. Uwchlaw'r uchder cyfangwbl o'r tŷrau, yr hwn oedd ugain o gufyddau, yr ydoedd ystafelloedd mawrwych; ac uwchben iddynt ystafelloedd eraill, a cherwyni i dderbyn dwfr gwlaw. Yr oeddynt hwy yn llawer mewn rhifedi; a'r grisiau ar hyd pa rai yr esgynid i fynu iddynt ydoedd lydan bob un. O'r tŷrau hyn yr ydoedd deg a phedwar ugain gan y trydydd fur: a'r pellder rhwng pob un o honynt ydoedd ddau cant o gufyddau. Ond ar y canol-fur yr oedd deugain o dyrau, a'r hen fur a rennid yn drugain. Cylch neu gwmpas y ddinas oedd dair ar ddeg ar hugain o 'stadau. Yn awr y trydydd fur oedd ryfeddod yn yr hyn oll a berthynai iddo. Etto'r oedd twr Asaphinus wedi ei ddyrchafu yn uwch nag ef ar y gongl yn y gorllewin-ogledd; ac yno y sefydlodd Titus ei babell ei hun: yr hon gan ei bod yn ddeg a thrugain cufydd o uchder, yr oedd yn peri golygfa o Arabia ar godiad haul, yn gystal ag yn dangos eithafoedd pellaf gwledydd yr Hebreaid tu a môr y gorllewin. Ym mhellach yr oedd yn wyth ongl; a chyferbyn ag ef yr oedd tŵr Hippicus: ac yn dra agos atto yr ydoedd dau eraill wedi eu hadeiladu ar yr hen fur gan y brenin Herod. Y rhai hyn o ran eu maintioli, harddwch, a chadernid, oeddynt tu hwnt i'r hyn oll oedd o fewn y ddaear gyfanneddol. Canys heblaw ardderchowgrwydd ei natur, a'i haelioni tu ag at y ddinas ar achosion eraill, fe adeiladodd y rhai hyn mewn modd tra rhagorol, i foddhau ei ddymuniadau neillduol ei hun: gan gyssegru y tŷrau hyn i goffadwriaeth y tri phersonau a fuasai yn anwylaf ganddo; sef, ei frawd, ei gyfaill, a'i wraig. Y wraig honno a laddasai, o herwydd ei gariad anghymmedrol a'i eiddigedd, fel yr adroddasom eisoes. Y ddau eraill a gollodd mewn rhyfeloedd, fel yr oeddynt yn ymladd yn wrol. Hippicus, yr hwn a enwid felly oddi wrth ei gyfaill, ydoedd bedwar-ongl; ei hyd a'i led oedd bob un yn bump ar hugain o gufyddau; a'i uchder yn ddeg ar hugain; ac nid oedd dim gwagter o'i fewn. Gyferbyn a'r adeilad cyfan hwn, ag oedd wedi ei gyfansoddi o feini mawrion cyd-gyssyllt-

* Bethesda. Gwel Ioan v. 2.

edig, yr ydoedd derbynfa-ddwfr yn ugain cufydd o ddyfndwr. Gogyfer â hwn hefyd yr ydoedd tŷ o ddau uchder llofftydd; a'i uchder oll yn bump ar hugain o gufyddau; ac wedi ei ddosparthu yn amrywiol rannau: ac uwch ben hwn yr oedd canllawiau o ddau o gufyddau, a thŷrau bychain oll o gwmpas yn dri chufydd o uchder: yn gymmaint a bod yr uchderau oll wedi eu cydgyssylltu yn gwneuthur i fynu bedwar ugain o gufyddau. Yr ail dŵr, yr hwn a enwodd oddi wrth ei frawd Phasaelus, oedd â'i led a'i uchder yn ogymmaint; pob un o honynt yn ddeugain cufydd. Uwchlaw'r hyn yr ydoedd ei uchder cyfangwbl o ddeugain cufydd. Ac uwch ben hynny yr oedd ystafelloedd yn myned o amgylch, uchder pa rai oedd ddeg o gufyddau: ac fe'u gorchuddid rhag gelynion gan ragfur a gwrth-gloddiau. Gwnaethpwyd hefyd uchlaw'r adeilad yma dŵr arall, wedi ei rannu yn ystafelloedd godidog, ac yn lle o ymolchfa. Felly nid oedd dim yn eisiau ar y tŵr hwn i wneud iddo ymddangos yn balas brenhinol. Yr ydoedd hefyd wedi ei addurno â mur-ganllawiau a thŷrau bychain, yn rhagorach na'r adeilad arall; a'r uchder i gyd ydoedd ynghylch deg a phedwar ugain o gufyddau. Ei ymddangosiad oedd debyg i dŵr Pharos, yr hwn oedd yn dangos tân i'r rhai a fordwyent i Alexandria; ond yr ydoedd yn llawer mwy o ran ei gwmpas. Hwn a droesid yn awr yn dŷ, ym mha un yr arferodd Simon ei awdurdod orthrymus. Y trydydd dŵr ydoedd Mariamne; canys hynny oedd enw ei frenhines. Yr ydoedd o gyfander mor ucheled ag ugain cufydd. Ei led a'i hyd oedd ugain o gufyddau, y rhai oedd yn gydradd y naill a'r llall. Ei oruwch adeiladau oedd fwy ardderchog, a mwy o addurniadau ynddynt na'r ddau dŵr arall. Canys y brenin a dybiodd fod yn weddus iddo addurno hwnnw yn rhagorach na'r lleill, pa un a enwid oddi wrth ei wraig, yn hytrach na'r rhai a gyfenwid oddi wrth ddynion; gan ddarfod gwneuthur y rhai hynny yn gadarnach na'r un oedd ar enw ei wraig. Holl uchder y tŵr hwn oedd bymtheg a deugain o gufyddau.

Yn awr fel yr oedd y tŷrau hyn mor dra uchel, yr oeddynt yn ymddangos yn llawer uwch gan y lle ar ba un y safent. Canys y mur tra hen ar ba un yr oeddynt, a wnaethpwyd ar fynydd uchel: ac yr ydoedd ei hun yn fath o godiad o ddeg ar hugain yn uwch o gufyddau. Ar ben hwn yr oedd sefyllfa'r tŷrau, ac wrth hynny a wnaed yn llawer uwch eu hymddangosiad. Maintioli y meini hefyd oeddynt i'w rhyfeddu. Canys ni wnaethid hwynt o gerrig cyffredin, neu o'r cyfryw ag a ellid eu dwyn gan ddynion; ond hwy a wnaethpwyd o feini mynor gwynion, wedi eu torri allan o'r graig. Pob un o'r meini oedd ugain cufydd o hyd, deg o led, a phump o drwch. Fe'u cymhwysid mor gywrain i orwedd y naill ar y llall, fel yr edrychodd pob tŵr megis un graig gyfangwbl o faen, wedi tyfu felly yn naturiol; ac wedi hynny eu torri i'r llun neu ddull presennol, mor lleied yr ymddangosodd eu cyssylltiad. Yn awr fel yr oedd y tŷrau yma eu hunain ar du gogleddol y mur, yr oedd y palas tufewnol gan y brenin yn cyssylltu â'r unrhyw, yr hwn oedd yn rhagori ar fy holl fedrusrwydd i allu ei ddescrifio: canys yr ydoedd o'r fath gywreinwaith, fel nad oedd un traul neu ddeall yn eisiau yn ei gyfansoddiad: ond yr oedd wedi ei gwbl-furio o amgylch hyd yr uchder o ddeg ar hugain o gufyddau: ac wedi ei addurno â thŷrau o bellder cydraddol, ac ystafelloedd gwelyau ehang, pob un o ba rai a allai gynnwys gorweddfaoedd i gant o westwyr neu lettywyr. Amrywiaeth y meini a ddefnyddid yngwneuthuriad y rhai hyn ni ellir ei adrodd: canys rhifedi mawr o rai ag oedd yn anaml o'r natur hynny a gasglwyd ynghyd. Eu cronglwydydd hefyd oedd ryfeddod, yn gystal o ran hyd y swmmerau, a disgleirdeb yr addurniadau. Rhifedi yr ystafelloedd hyn oedd fawr iawn: ac amrywiad y lluniau o'u hamgylch oedd yn anferth. Yr oeddynt yn gyflawn o ddodrefn; a'r rhan fwyaf o'r llestri o'u mewn oeddynt o arian ac aur. Yr oedd heblaw hyn amryw rodfeydd, y naill y tu ol i'r llall o amgylch, a cholofnau hardd i bob un o'r rhodfeydd hyn. Etto yr holl gynteddau ag oedd yn agored i'r awyr oeddynt i gyd yn wyrddlas. Yr ydoedd yno hefyd amryw lwyni o goed, a rhodfeydd meithion trwyddynt; gyd â dwfr-gronfa ddyfn, a cherwyni; amryw rannau o ba rai a lenwid â lluniau o bres, fel trwyddynt y rhedai y dwfr allan. Yr oedd yno hefyd amryw gyn-

teddau * colommenod dofion o amgylch y cronfeydd. Ond yn wir rhoddi cyflawn ddesgrifiad o'r palasau hyn sydd anmhossibl; a'r cof am danynt sydd boen i ddyn, wrth ddwyn i'w feddwl pa ryw adeiladau ardderchog a ddifethodd y tân a gynneuwyd yno gan yr yspeilwyr. Canys ni losgwyd y rhai hyn gan y Rhufeiniaid, ond y bradwyr tufewnol, fel yr adroddasom yn barod, yn nechreu eu gwrthryfel. Y tân hwnnw a ddechreuodd yn nhŵr Antonia, ac a aeth ym mlaen i'r palasau; a difaodd y rhannau uchaf o'r tŷrau eu hunain.

## PENNOD V.

### *Descrifiad o'r Deml.*

Y DEML, fel y dywedais o'r † blaen, ydoedd wedi ei hadeiladu ar fynydd cadarn. Yn y cyntaf y gwastadedd ar ei ben ydoedd yn brin yn ddigon o le i'r tŷ sanctaidd, a'r allor; canys y tir o amgylch oedd yn dra anwastad, ac megis yn oriwared. Ond wedi i'r brenin Solomon, yr hwn oedd y person cyntaf a adeiladodd y deml, wneuthur mur wrthi, ar y tu dwyreiniol, yna y chwanegwyd un ystafelldŷ, a'i sail ar fryn a godasid iddo; ac ar yr ochrau eraill y safodd noethni y tŷ sanctaidd. Ond mewn oesoedd ar ol, y bobl a chwanegodd ‡ gloddiau neu fryncyniau eraill; a phen y mynydd a ddaeth yn wastadedd helaethach. Yna hwy a dynnasant i lawr y mur o du'r gogledd; a chymmerasant i mewn gymmaint o le ag oedd angenrheidiol y pryd hwnnw i gwmpasiad yr holl deml. Ac wedi gwneuthur muriau ar y tri ochr i'r deml o amgylch, oddi wrth droed y mynydd; a chwblhau gwaith mwy nag a ellid ei ddisgwyl; (ym mha waith oesoedd meithion a drenliwyd ganddynt yn gystal a gwario eu trysorau cyssegredig; y rhai yn wastadol a adlenwid gan y deyrnged a anfonid at wasanaeth Duw o'r holl ddaear gyfanneddol:) yna hwy a amgylchasant eu cynteddau uchaf â stafelldai, yn gystal ag y gwnaethant wedi hynny gyntedd isaf y deml. Y rhan isaf o hwn a wnaethpwyd i'r uchder o dri chant o gufyddau, ac yn rhai mannau ychwaneg. Etto nid oedd dyfnder y sylfeini oll yn ymddangos: canys hwy a ddygasant bridd, ac a lanwasant i fynu y pantau; gan ewyllysio eu gwneud yn gydwastad ag heolydd culion y ddinas: yn yr hyn y defnyddiasant feini o ddeugain cufydd o faintioli. Canys yr helaethrwydd mawr o arian ag oedd ganddynt y pryd hwnnw, ynghyd â haelioni y bobl, a barodd i'w hymdrech lwyddo i raddau anghredadwy. A'r hyn na's gellid gymmaint a gobeithio am dano, y byddai iddo gael ei gyflawni byth, trwy barhad ac amser gyd â'r gwaith fe'i dygwyd i berffeithrwydd.

Yn awr y gweithiau ag oedd uwchlaw'r sylfeini hyn nid oeddynt annheilwng o'r fath seiliau: canys yr holl ystefyll-dai oeddynt yn ddwbl; a'r pilerau perthynol iddynt yn bump ar hugain o gufyddau mewn uchder, ac yn cynnal yr ystafell-dai. Y pilerau neu golofnau hyn oeddynt un dernyn cyfan o faen mynor gwyn. A'r cronglwydydd a addurnid â chedrwydd, gyd â cherfiad cywrain. Harddwch naturiol, llyfndra rhagorol, a chydgydiad y cyssylltiadau yn yr ystefyll-dai hyn ydoedd o ddrych tra rhyfedd. Ac nid oeddynt y tu allan wedi eu haddurno ag unrhyw gelfydd-waith o eiddo'r arliwydd neu gerfiwr. Ystefyll-dai y cyntedd oddi allan ydoedd o led yn ddeg cufydd ar hugain; tra'r oedd ei holl gwmpas yn mesur chwech o stadau; gyd â chynhwysiad o'r tŵr Antonia. Y cynteddau eithaf hynny ag oedd agored i'r awyr, a osodwyd â meini o bob rhyw fath. Pan elid trwy'r ystefyll-dai cyntaf i ail gytedd y deml, yr ydoedd gwahan-fur wedi ei wneuthur o feini, i gyd yn grynion; uchder pa un ydoedd dri o gufyddau, a'i chyfansoddiad yn dra harddwych. Ar hon y safai colofnau o'r un bellder oddi wrth eu gilydd; yn arddangos cyfraith puredigaeth, yn

* Y cynteddau colommenod hyn yn Josephus, a wnaethpwyd gan Herod y mwyaf, yn ol tŷb Reland, ydynt yr un a'r rhai a grybwyllir gan y Talmudiaid, ac a enwir ganddynt hwy colommendai Herod. Ac nid oes un rheswm i feddwl yn amgen; gan y dywedir yn beudant yn mhob un, mai colommenod dofion a gedwid ynddynt.

† Gwel Llyfr IV. pen. 5.

‡ Gwelwch y desgrifiad o'r temlau perthynol i'r lle hwn, pen. xv. Eithr nodwch, am yr hyn a ddywed Josephus yma, gynnwysder y mynydd Moriah hwn; ei fod yn hollol ry fychan i'r deml; ac mai, ar y cyntaf, nad oedd yn cynnal ond 'stafelldŷ, neu gyntedd adeilad Solomon, a gorfod chwanegu'r sylfeini yn mhell ar ol hynny yn raddol i'w wneud i gynnwys 'stefyll-dai y cynteddau eraill, &c. ei fod oll heb ddim sail iddo yn yr ysgrythyrau, ac heb ei gadarnhau oll gan ei gywirach hanes yn yr Hynafiaethau. Yr hyn oll sydd neu a all fod yma yn wir, ydyw, mai pan oedd cyntedd y cenhedloedd, hir amser ar ol hynny, i gael ei amgylchu â 'stefyll-dai; gwybuwyd nad oedd y sylfaen deheuol iddynt yn ddigon helaeth a chadarn, a hi a gyfodwyd: a'r sylfaen chwanegiadol. a gynnhelid gan golofnau mawrion, a bwâau o waith maen tan y ddaear, yr hyn y mae Josephus yn sôn am dano; mewn lle arall, Hynaf. XV. 11, a'r hyn a welodd Mr. Maundrel, ac sydd yn ei descrifio, t. d. 100, megis eu bod yn aros tan y ddaear hyd heddyw.

argraphedig ar rai o honynt mewn llythyrenau Groeg, ac eraill mewn llythrenau Rhufeinaidd; fel na byddai i neb rhyw ddieithriaid fyned i mewn i'r cyssegr hwnnw. Canys ar ail gyntedd hwnnw o'r deml a elwid Y Cyssegr, ac a esgynid iddo trwy bedair ar ddeg o risiau o'r gynteddfa gyntaf. Yr ail gyntedd hwn ydoedd yn bedwar ongl; a chanddo fur o'i amgylch neillduedig iddo ei hun. Uchder ei adeilad, er nad oedd o'r tu * allan ond deugain o gufyddau, oedd guddiedig o herwydd y grisiau; ac o'i fewn ei uchder oedd bum cufydd ar hugain. Canys wedi ei adeiladu yn erbyn goruwch ran o'r mynydd â grisiau, ni ellid mwyach ei ganfod oddi mewn, trwy ei fod wedi ei orchuddio gan y mynydd ei hun. Tu hwnt i'r pedair ar ddeg o risiau hyn yr oedd y pelldra o ddeg cufydd, yr hwn ydoedd amlwg oll. Oddi yno yr oedd grisiau eraill, pob un yn bump o gufyddau, y rhai oedd yn arwain at y pyrth; pa ryw byrth o du'r gogledd a'r dehau oeddynt wyth; pedair ar bob un o'r ochrau hynny; ac, o angenrheidrwydd, dau o du'r dwyrain. Canys fel yr oedd canol-fur wedi ei adeiladu i'r merched ar y tu hwnnw, megis lle addas ym mha un yr oeddynt i addoli; yr oedd angenrheidrwydd am ail borth neu ddôr iddynt. Y porth yma a dorrwyd allan o'i fur gyferbyn â'r porth cyntaf. Yr ydoedd hefyd ar yr ochrau eraill un porth deheuol, ac un gogleddol, trwy y rhai hefyd yr oedd mynedfa i gyntedd y merched neu'r gwragedd; oblegid am y pyrth eraill ni chaniateid i'r gwragedd fyned trwyddynt. Na phan elent trwy eu porth eu hunain, ni allent fyned ymhellach na'u mur. Y lle hwn a drefnasid i ferched ein gwlad ein hunain, ac o wledydd eraill os byddent o'r un genedl, a hynny yn gydraddol. Ar y tu gorllewin i'r cyntedd hwn nid oedd un porth oll; ond y mur oedd wedi ei wneuthur yn gyfan ar yr ochr hwnnw. Ond yna'r ystefyll-dai ag ydoedd rhwng y pyrth, a gyrhaeddent oddi wrth y tufewnol fur, o flaen yr ystefyll: canys hwy a gynhelid gan bileran heirdd a mawrion. Yr ystefyll-dai hyn ydoedd sengl; ac oddigerth eu ehangder, nid oeddynt un ffordd yn waelach na'r rhai perthynol i'r cyntedd isaf.

Yn awr yr ydoedd naw o'r pyrth hyn ar bob tu wedi eu gorchuddio trosodd âg aur ac arian; megis ag yr oedd ystlys-byst eu dorau, a'u cappanan. Ond yr ydoedd un porth ag oedd y tu allan i gyntedd tufewnol y tŷ sanctaidd, yr hwn oedd a'i ddefnydd o bres Corinth, ac yn rhagori llawer ar y rhai hynny a wisgwyd trosodd gan aur ac arian. Yr ydoedd i bob porth ddau o ddrysau, uchder pa rai yn wahanol oedd ddeg cufydd ar hugain; a'u lled yn bymtheg cufydd. Pa fodd bynnag, yr oedd lle mawr oddi mewn rhyngddynt yn ddeg ar hugain o gufyddau: a chanddynt ystafelloedd o bob tu, a'r rhai hynny o led a hyd wedi eu hadeiladu fel tŷrau; a'u huchder yn ddeugain o gufyddau. Dwy golofn hefyd a gynhaliai eu hystefyll, ac yr oeddynt mewn cwmpasiad yn ddeuddeg o gufyddau. Yn awr, maintioli y pyrth eraill oedd gydradd â'u gilydd; ond yr un hynny uwch ben y porth Corinthiaidd, ag oedd yn agoryd tu â'r dwyrain gyferbyn a phorth y tŷ sanctaidd ei hun, oedd lawer yn helaethach. Canys ei uchder oedd ddeg cufydd a deugain, a'i ddorau yn ddeugain o gufyddau; ac yr oedd wedi ei addurno yn y modd mwyaf costfawr, trwy fod ganddo ddalennau drutach a llawer mwy trwchus o arian ac aur arnynt na'r lleill. Y naw porth yma a gafodd yr arian a'r aur oedd arnynt wedi ei fwrw gan † Alexander, tad Tiberius. Yn awr, yr ydoedd pumtheg o risiau, pa rai a arweinient oddi wrth fur cyntedd y menywaid at y porth mawr hwn: pan oedd y rhai hynny a arweinient yno o'r pyrth eraill yn bump o risiau yn fyrrach.

Ymherthynas i'r tŷ sanctaidd ei hun, yr hwn yr oedd ei sefyllfa ynghanol y cyntedd tufewnol, y lle mwyaf cyssegredig o'r deml, fe esgynid iddo ar hyd deuddeg o risiau: ac o'r tuwyneb ei hyd a'i led oedd gydradd; pob un o

* Yr hyn a ymddengys Josephus ei fod yn meddwl yma ydyw, fod y pileran hynny a gynhaliai'r ystefyll-dai yn yr ail gyntedd, a'u sylfeini o'r gwaelodion isaf cyn ddyfned a llawr y cyntedd blaenaf neu isaf: ond mor bell ag yr oedd y gwaelodion isaf hynny yn gydradd â chodiad y llawr uchaf uwch ben yr isaf, rhaid ei fod yn cael ei guddio oddi fewn gan y llawr neu'r graig ei hun; ar ba un yr oedd y cyntedd uchaf wedi ei adeiladu. Felly y 40 cufydd a welid islaw, a ostyngwyd i 25 o gufyddau gweledig uwchlaw iddo. Yr anhawsdra mwyaf a orwedd yma yw, pa fodd y gallai 14 neu 15 o risiau fod yn esgyniad i 15 cufydd o uchder, a chyfrif hanner cufydd yn ddigonol i bob gris. O bosibl y gallai fod 14 neu 15 o risiau wrth y canol-fur gwahanol; a 14 neu 15 ychwaneg oddi yno i'r cyntedd ei hun; pa ryw gyfrif a ddygai'r cwbl yn agos i'r gofynol gydgyfattebiad. Ond ni wnaf un penderfyniad am hyn.

† Llywodraethwr yr Aipht, o flaen ei fab Tiberius Alexander. Gwel. Llyfr II pen. 15.

honynt yn * gant o gufyddau: er ei fod y tu ol ddeugain cufydd yn gulach. Canys ar ei wyneb-du yr oedd iddo yr hyn a ellir ei alw ysgwyddau ar bob ochr, ag oedd yn ymestyn ugain o gufyddau ymhellach. Ei borth cyntaf oedd ddeg cufydd a thrugain o uchder, a phum cufydd ar hugain o led; ond nid oedd dorau i'r porth hwn: canys yr oedd yn presennoli y gyffrediuol nefoedd weledig, yr hon nis gall fod yn guddiedig yn un lle. Ei wyneb-du oedd wedi ei orchuddio âg aur drosodd; a thrwyddo y rhan gyntaf o'r tŷ, ag a safai yn fwy i mewn, ydoedd oll yn ymddangos: yr hwn gan ei fod yn dra helaeth, felly y darfu'r holl fanau ynghylch y porth oddi mewn ymddangos yn ddisglaer i'r sawl a'u gwelent. Ond yna fel ag yr oedd yr holl dŷ wedi ei ddosparthu yn ddwy ran oddi mewn, y rhan gyntaf o hono yn unig oedd yn amlwg i'r golwg oddi allan. Ei uchder oedd yn cyrhaeddyd trwyddo oll i ddeg a phedwar ugain o gufyddau: ei hyd oedd ddeg a deugain, a'i led yn ugain cufydd. Ond y porth ag oedd ar y pen hwn o ran gyntaf y tŷ, ydoedd, fel y sylwiasom eisoes, wedi ei orchuddio yn hollol âg aur; megis ag yr oedd ei holl fur o'i amgylch. Yr ydoedd iddo hefyd winwydd aur, uwch ben iddo; o ba rai y croggai i lawr rawn-sypiau cyfuwch ag uchder dyn. Ond yna'r tŷ hwn, fel ag yr oedd wedi ei ddosparthu yn ddwy ran; yr un dufewnol ydoedd is nag yr ymddangosai yr un oddi allan: ac yr oedd yno ddorau aur o bum cufydd a deugain o uchder, ac un ar bymtheg o led. Ond o flaen y drysau hyn yr oedd llenni o'r un helaethrwydd a'r drysau. Eu gwneuthuriad ydoedd o Babilon; yn gyfrodedd â glas, lliain main, ysgarled, a phorphor: ac o'r fath wneuthuriad ag oedd ryfedd. Ac nid oedd y cymmysg-liwiau hyn heb ddeongliad iddynt o ryw ddirgelwch; ond yr oeddynt yn fath o arddelw'r greadigaeth. Canys wrth yr yscarled yr ymddangosai yn ddammegol arwydd o dân; wrth y llin meinwych y ddaear; wrth y glas yr awyr; ac wrth borphor y môr. Dau o honynt a dderbyniant eu lliwiau yn sylfeini i'r tebygoliaeth. Ond y meinllin, a'r porphor sydd a'u dechreuad yn sail o honynt: megis y tardda un o'r ddaear, a'r llall o'r môr. Y llen yma ydoedd hefyd â gwniadwaith arni o'r hyn oll ag oedd yn y nefoedd weledig; oddigerth y deuddeg arwydd; yn cynnyrchioli creaduriaid byw.

Pan elai rhyw un i mewn i'r deml hon, ei † llawr a'u derbyniai hwynt. Y rhan yma o'r deml gan hynny ydoedd mewn uchder yn drugain o gufyddau, a'i hyd yn ogymmaint: pan nad oedd ei lled ond ugain o gufyddau. Ond etto y trugain cufydd hwnnw o hyd a rennid drachefn; a'r rhan gyntaf o hono a dorrid ymaith wrth y deugeinfed cufydd; ac ynddo'r oedd tri o bethau hynod ym mhlith dynolryw: y canhwyll-bren, bwrdd y bara gosod, ac allor yr arogl-darth. Yn awr y saith lusern oedd yn arwyddo y saith o blanedau: canys hynny oedd y nifer gynnwysedig yn y canhwyll-bren. Y deuddeg torth ag ydoedd ar y bwrdd a arwyddent gylch y deuddeg arwydd, a'r flwyddyn. Ond allor yr arogl-darth, wrth ei dri rhyw ar ddeg o bêr-lysiau aroglaidd, pa rai a adlenwid o'r môr, ydoedd yn arwyddo y meddiant oedd gan Dduw ar bob peth ag sydd yn rhannau cyfanneddol, ac anghyfanneddol y ddaear; a'u bod i'w defnyddio at ei wasanaeth ef. Ond y tumewnol i'r deml o'r cwbl oedd ugain o gufyddau. Hwn hefyd a wahanwyd gan len oddiwrth y rhan allanol. Yn hwn nid ydoedd gynnwysedig ddim oll. Yr oedd yn anneshaol iddo, yn annhoradwy, ac yn anweledig i bawb. Fe'i gelwid y ‡ Cyssegr sancteiddiolaf. Yn awr, o gylch ochrau y rhan isaf i'r deml yr ydoedd tŷau bychain, gyd â thramwyfeydd o'r naill i'r llall. Yr ydoedd mynedfa hefyd i mewn ar bob tu iddynt o borth y deml. Ond gan ran uchaf y deml nid oedd y fath dŷau bychain ymhellach: oblegid fod y deml yno yn gulach, a deugain o gufyddau yn uwch: ac yn llai o gorph na'r rhannau isaf o honi. Fel hyn yr ydym yn casglu fod yr uchder oll, wedi cynnwys y trugain cufydd oddiwrth y llawr, yn gwneuthur i fynu gant o gufyddau.

Yn awr, ar wyneb allanol y deml nid oedd dim yn eisiau a fyddai debyg i beri syndod a rhyfeddod yn yr edrychwyr. Canys yr ydoedd wedi ei gorchuddio oll trosodd â dalennau aur o bwysau mawr: ac ar godiad cyntaf yr haul,

* Yr ugain cufydd a chwanegwyd at ei uchder.

† Rhan isclaf y tŷ sanctaidd.

‡ Gwel Hebreaid ix. 3.

yr adlewyrchiad a ddisgleiriai yn dra thanbaid; ac a wnai i'r rhai a ymdrechent i graffu arno droi ymaith eu golygon, yn gymmwys fel y gwnaent wrth danbeidrwydd tywyniad yr haul. Ond y deml hon a ymddangosai i ddieithriaid, pan ddeuent iddi o bell, yn debyg i fynydd wedi ei orchuddio ag eira. Canys am y rhannau o honi ag oedd heb eu goreuro, yr oeddynt yn hynod wyn. Ar ei phen yr oedd pigau tra blaenllym, i rwystro dim halogrwydd oddiwrth dderynnod trwy ddisgyn arni. Am ei meini rhai o honynt oedd yn bum cufydd a deugain o hyd, pump o drwch, a chwech o lêd. O flaen y deml hon y safai'r allor, yn bymtheg cufydd o uchder, ac yn gydradd mewn hyd a llêd; a mesuriad pob un yn ddeg a deugain o gufyddau. Y dull ym mha un yr adeiladwyd hi oedd bedr-ongl, a'i chonglau ar lun cyrn eidion; y dram-wyfa iddi ydoedd ar hyd ddiarwybod oriwfynu. Fe'i ffurfiwyd heb ddefnyddio un offeryn haiarn; ac ni chyffyrddwyd â hi â'r fath offerynau un amser. Yr ydoedd hefyd fur gwahaniaeth, ynghylch cufydd o uchder, wedi ei wneuthur o feini teg, yn y fath fodd ag y rhoddai foddlonrwydd i'r golwg. Hwn a amgylchai y tŷ sanct-aidd, a'r allor; ac a gadwai y bobl oedd o'r tu allan ymaith oddiwrth yr offeiriaid. Ymhellach y rhai oedd â'r gonorrhea, ac â'r gwahan-glwyf arnynt, a gauid allan o'r ddinas yn hollol. Gwragedd hefyd, pan y cyfrifid hwy yn am-mhur gan y gyfraith, a gauid allan o'r deml: ac ni chaniatteid iddynt un amser fyned tu hwnt i'r terfyn a grybwyllwyd. Hefyd y gwŷr na phurwyd yn gyflawn, a waharddid i ddyfod i gyntedd tufewnol y deml. Ië, yr offeiriaid eu hunain, a'r nad oeddynt bur, a waharddwyd i ddyfod iddo hefyd.

Yn awr, y rhai oll o hil yr offeiriaid a'r na allent weinidogaethu y herwydd rhyw weudid corphorol; etto hwy a ddeuent y tu mewn i'r gwahan-fur, gyd â'r rhai nad oedd â'r fath am-herffeithrwydd arnynt; ac a oeddynt gydgyf-ranogion â hwynt oblegid eu hiliogaeth: etto ni wnaent ddefnydd o ddim gwisgoedd ond yr eiddynt eu hunain: canys nid oedd neb ond y rhai a weinyddent i osod y gwisgoedd cyssegr-edig am danynt. Ond yna'r offeiriaid hynny ag oedd heb ddim anaf a aent i fynu at yr allor, wedi amwisgo â lliain main. Hwy a ymgad-went yn bennaf oddiwrth win, oddiar yr ofn hwn, rhag os amgen y byddai iddynt droseddu yn erbyn rhai o reolau eu gweinidogaeth. Yr archoffeiriad hefyd a âi i fynu gyd â hwynt: nid yn wir bob amser, ond ar y seithfed dydd, a'r newydd loerau; ac ar symmudiad rhyw ŵyl arbennig. Pan fyddai efe yn offeiriadu fe wis-gai lodr am dano,a gwisg-liain arall y tu fewn; ynghyd â gwisg laes o'i amgylch heb wrym arni, ond â rhidens wrth ei godrau, yn cyrraedd hyd y traed. Yr ydoedd hefyd glychau aur yn crogi ar y rhidens, a phomgranadau yn gymmysgedig â hwynt. Y clychau oedd yn arwyddo taranau, a'r pomgranadau fellt. Ond y gwregys ag oedd yn clymmu'r wisg wrth y ddwyfron, ydoedd â gwniadwaith arno yn bum rhes o amryw liw-iau: megis aur,porphor, ac ysgarled, lliain main, a glâs: â pha liwiau, y dywedasom eisoes, yr oedd y gwniadwaith ar lenni'r deml. Y cyffel-yb wniadwaith oedd ar yr ephod; ond y maint-ioli o aur ar hwnnw ydoedd fwy. Cynllun ydoedd o'r hyn a arfeir i amddiffyn y cylla neu'r ddwyfron. Yr ydoedd arno ddau o foglym-mau aur, fel tariannau bychain, ag oedd yn cyssylltu yr ephod â'r wisg. Y boglymau hyn a gynhwysai ddau o feini Sardonyx tra rhag-orol; a chanddynt enwau llwythau y genedl honno yn argraphedig arnynt. Ar y rhan ar-all y gosodid deuddeg o feini gwerthfawr; tri yn y rhes un ffordd, a phedwar y ffordd arall. Sardiuz, topaz, ac emerald; carbuncl, jasper, a saphir; agate, amethyst, a ligur; onyx, berygl, a chrysolyt: ar bob un o ba rai drachefn yr oedd yn argraphedig un o enwau rhagddywedig y deuddeg llwythau. Meitr hefyd o liain main a amgylchynai ei ben, ac a glymmid ag ysnod-en las; o amgylch pa un yr oedd coron arall o aur,ac yn argraphedig arni Sanctaidd enw Duw, yn gynnwysedig mewn pedair o lythyrenau. Pa fodd bynnag, ni ddodai'r archoffeiriad y gwisgoedd hyn am dano, ond pan elai i'r lle mwyaf cyssegredig o'r deml, yr hyn ni wnai ond unwaith yn y flwyddyn: ar y dydd hwn-nw ym mha un ein defod ydyw cadw ympryd i Dduw. A chymmaint â hyn ymherthynas i'r ddinas a'r deml. Ond am y defodau a'r cyf-reithiau perthynol iddynt, ni a lefarwn yn hel-aethach * bryd arall. Canys y mae'n aros i'w

* Gwel Hynaf. III. 6.

fynegi amryw bethau oddi wrthynt pa rai ni chyffyrddwyd â hwynt yma.

Yn awr am dŵr Antonia; ei sefyllfa ydoedd wrth gongl dau stefyll-dai cyntedd * y deml: yr un hynny ar y gorllewin, a'r un o du'r gogledd. Yr oedd wedi ei adeiladu ar graig, yn ddeg cufydd a deugain o uchder, ac ar ben goriwared mawr. Gwaith y brenin † Herod ydoedd, trwy'r hwn yr amlygodd ei naturiol fawrfrydigrwydd. Yn y lle cyntaf y graig a orchuddiwyd trosodd â darnau llyfnion o gerrig, o'i sylfaen; yn gystal er addurn, ac os cynhygiai rhyw un fyned i fynu ac i lawr ar hyddi, na fyddai yn gallu cadw ei draed rhag llithro arni. Yn nesaf at hyn, a chyn y delid at yr adeilad ei hun, yr ydoedd mur yn dri chufydd o uchder: ond oddi mewn i'r mur hwnnw, holl le y tŵr Antonia ydoedd wedi ei adeiladu arno, i'r uchder o ddeugain cufydd. Y mannau tufewnol ydoedd ag iddynt yr helaethrwydd a dull cyffelyb i balas: wedi ei rannu yn bob rhyw fath o stafelloedd, a chyfleusterau eraill, megis cynteddau, ymolchfeydd, a lleoedd ehang i wersylloedd: yn gymmaint a thrwy fod yno bob cyfleusterau ag oedd yn eisiau mewn dinas, yr ymddangosai ei fod wedi ei gyfansoddi o amryw ddinasoedd: ond wrth ei harddwch y byddai yn ymddangos fel palas. Ac fel yr oedd yr holl adeilad a thebygoliaeth ganddo i dŵr, fe gynhwysai hefyd bedwar o dŷrau gwahanol eraill, fel ei bedwar conglau. Tri o honynt oedd ddeg cufydd a deugain o uchder; ond yr un ar y gongl ddehau oedd ddeg a thrugain o gufyddau: fel oddi yno y gellid cael golwg ar yr holl deml. Ond ar y gongl, lle yr ymgyssylltai â'r ddau o 'stefyll-dai y deml, yr ydoedd tramwyfa iddynt i lawr bob un: trwy ba rai y gwarchawdlu (canys yr ydoedd llengRufeinig yn gorweddy n y tŵr hwn,) a aent amryw ffyrdd i blith yr ystefyll-dai, gyd â'u harfau ar y gwyliau Iuddewig, mewn trefn i wylio'r bobl, fel na anturient yno wneuthur terfysgiadau. Canys y deml ydoedd yn amddiffynfa yn gwarchawd y ddinas, fel yr oedd tŵr Antonia yn warchaedigaeth i'r deml. Ac yn y tŵr hwnnw yr oedd ‡ gwarcheidwaid y tri hyn. Yr ydoedd hefyd amddiffynfa neillduol yn perthyn i'r ddinas uchaf, pa un oedd balas Herod. Ond am y bryn Bezetha, yr oedd wedi ei wahanu oddi wrth dŵr Antonia, fel y sylwiasom eisoes. Ac fel yr oedd y bryn neu'r mynydd ar ba un y safai tŵr Antonia yn uchaf o'r tri hynny; felly yr oedd yn cyssylltu â'r § ddinas newydd: ac ydoedd yr unig le ag oedd yn lluddias golwg ar y deml o du'r gogledd. A hyn a gaiff wasanaethu yn bresennol am adroddiad perthynasol i'r ddinas, a'r muriau o'i hamgylch.

## PENNOD VI.

*Am y teyrn-ormeswyr Simon a Ioan: Hefyd ymherthynas i ddamwain a gythruddodd Titus i wasgu ymlaen a'r warchaedigaeth Jerusalem.*

YN awr, y rhyfelwyr ag oedd yn y ddinas, a lliaws yr ymrysonwyr ag oedd gyd â Simon, oeddynt ddeng mil, heblaw yr Idumeaid. Y deng mil hyn oedd ag iddynt ddeugain o flaenoriaid, ar ba rai yr oedd y Simon hwn yn bennaeth. Yr Idumeaid ag oedd yn ymostyngol iddo ef oeddynt bum mil, a chanddynt wyth o flaenoriaid. Ym mysg y rhai mwyaf eu clod o honynt, yr ydoedd Jacob mab Sosas, a Simon mab Cathlas. Ioan yr hwn a oresgynasai y deml, oedd ganddo chwe' mil o wŷr arfog, tan ugain o flaenoriaid. Y brwd-frydwyr hefyd y rhai a ddaethent trosodd atto ef, ac a ymadawsent â'n gwrthwynebiad, oeddynt ddwy fil a phedwar cant: y rhai ydoedd â'r un llywyddion iddynt ag o'r blaen, Eleazar, ynghyd â Simon, mab Arius. Yn awr, tra'r oedd yr ymbleidiau hyn yn ymladd y naill yn erbyn y llall, yr oedd y bobl yn ysglyfaeth iddynt ar bob llaw. A'r rhan hynny o'r bobl na unai â hwynt yn eu drwg arferion, a yspeilid gan bob un o'r pleidiau. Simon oedd â meddiant o'r ddinas uchaf, a'r mur mawr cyn belled a Chedron; a chymmaint o'r hen fur ag oedd yn gogwyddo oddiwrth Siloam tu â'r dwyrain; a'r hyn oedd yn myned i lawr at balas Monobazus, yr hwn oedd frenin Adiabeni, tu hwnt i Euphrates. Efe hefyd a bïoedd y ffynnon neu'r pydew hwnnw; ac Acra, yr hon nid oedd amgen na'r ddinas isaf. Efe hefyd a ddaliai'r cwbl ag oedd yn

* Cyntedd y Cenhedloedd. † Gwel Llyfr I. pen. 21.

‡ Y tri gwarcheidwaid hyn a orweddent yn nhŵr Antonia, oedd raid eu bod y rhai hynny a warchadai y ddinas, y deml, a'r tŵr Antonia hwnnw.

§ Bezetha.

cyrraedd hyd balas y frenhines Helena, mam Monobazus. Ond Ioan oedd yn dal y deml, a'r lleoedd cyssylltedig ag yno tros hir ffordd, megis Ophla hefyd, a dyffryn Cedron. A phan fyddai i'r mannau ag oedd rhwng eu perchennogaeth gael eu * difa trwy dân ganddynt, gadawent y lleoedd hynny yn weigion er cyfleustra i ymladd â'u gilydd. Canys ni orphwysodd yr ymryson tufewnol hwn, hyd yn oed pan oedd y Rhufeiniaid wedi dyfod i wersyllu wrth eu muriau. Ac er tyfu o honynt yn ddoethach ar ol ymosodiad cyntaf y Rhufeiniaid arnynt, ni pharhaodd hyn ond ychydig; canys hwy a ddychwelasant i'w gwallgofrwydd cyntaf, ac a ymranasant y naill oddiwrth y llall, gan ei hymladd allan; a gwneud pob rhyw beth a'r a ewyllysiai'r gwarchaewyr iddynt ei wneuthur. Canys ni ddioddefasant ddim ag oedd waeth oddiwrth y Rhufeiniaid, nag a wnaethant y naill i'r llall ei ddioddef. Ac ni oddiweddwyd y ddinas gan unrhyw niweid, wedi'r peth a wnaeth y dynion hyn, a'r a ellid ei gyfrif yn newydd. Ond yr oedd yn achos mwyaf o bob annedwyddwch cyn gallu ei ddadymchwelyd: a'r rhai a gymmerasant y ddinas a wnaethant fwy o gymmwynas iddi. Canys gallaf gadarnhau, ddarfod i'r ymbleidwyr ddifetha'r ddinas, a'r Rhufeiniaid ddifetha'r ymbleidwyr neu ymrysonwyr, yr hyn oedd anhaws o lawer ei wneuthur, na difetha y muriau. Felly gallwn yn gyfiawn gyfrif y drygau a ddaeth arnom i'n pobl ein hunain, a'r dialedd cyfiawn a'n goddiweddodd i'r Rhufeiniaid. Ymherthynas i ba fatterion, penderfyner hynny gan bawb wrth y gweithredoedd a wnaethpwyd o bob ochr.

Yn awr pan ydoedd pethau yn y ddinas tan yr agwedd yma, Titus a aeth o'i hamgylch o'r tu allan iddi, gyd â rhai dewisol o wŷr meirch; gan graffu o'i chwmpas, am le cyfleus i wneuthur ymosodiad ar y muriau. Ond yr ydoedd tan amheuaeth pa le'r oedd yn bossibl ymosod arno ar un tu: canys ni ellid neshau at y mur mewn un modd lle'r oedd pantau neu ddyffrynoedd dyfnion islaw iddo: ac ar y tu arall, yr oedd y mur cyntaf yn ymddangos yn rhy gadarn i'w siglo gan y peiriannau. Efe gan hynny a dybiodd yn oreu i wneud ei ymosodiad ynghylch côf-golofn Ioan yr archoffeiriad. Canys yno'r ydoedd yr amddiffyniad cyntaf i'w ganfod yn îs, a'r ail heb ei gyssylltu ag ef: gan ddarfod i'r adeiladwyr esgeuluso gwneuthur y mur yn y dull cadarnaf, lle'r oedd y ddinas newydd heb lawer o breswylwyr ynddi. Yma hefyd yr oedd tramwyfa hawdd at y trydydd fur, trwy ba un y meddyliodd gymmeryd y ddinas uchaf, a thrwy dŵr Antonia y deml ei hun. Ond ar yr amser hwn, fel ag yr oedd yn amgylchynu y ddinas, un o'i gymdeithion a elwid Nicanor, a archollwyd â phiccell yn ei ysgwydd ddehau, fel ag yr oedd yn neshau gyd â Josephus yn rhy agos i'r mur; ac yn ceisio ymddiddan â'r rhai a safent arno am ammodau o heddwch. Canys yr oedd efe yn un a adnabyddid ganddynt. Ar y cyfrif hwn y bu ddarfod i Cæsar, cyn gynted ag y gwybu am eu casineb a'u tanbeidrwydd, ac na oddefent gymmaint â'r rhai a neshaent attynt, i'w perswadio i'r hyn a dueddai i'w diogelwch eu hunain, gael ei gythruddo i wasgu ym mlaen ar y cynllwyn. Efe hefyd, ar yr un pryd, a roddodd gennad i'w filwyr i osod y maesdrefi ar dân; gyd â gorchymmyn i ddwyn prennau ynghyd, a chyfodi bryncynnau a gwrthgloddiau yn erbyn y ddinas. Ac wedi dosparthu ei fyddin yn dair rhan, mewn trefn i ymosod ynghylch y gweithiau hyn, fe osododd y rhai a saethent biccellau, a'r saethyddion eraill ynghanol y bryniau a gyfodid y pryd hynny. O flaen pa rai fe osododd y peiriannau a ergydient waywffyn, piccellau, a cherrig; fel y gallai rwystro'r gelyn i ruthro allan yn ddisymmwth ar eu gweithiau; a lluddias y rhai oedd ar y mur rhag gallu gwneuthur rhwystr iddynt. Felly y coed a dorrwyd i lawr yn ddioed, a noethwyd lle'r maes-drefi. Ond tra'r oedd y prennau yn cael eu cludo i godi'r bryncynnau, a'r holl fyddin yn prysur fyned ym mlaen â'u gwaith, ni ddodwyd yr Iuddewon i orphwys. Ac fe ddigwyddodd fod pobl Jerusalem, y rhai hyd yn hyn a yspeilid ac a lofryddid, yn awr wedi ymgefnogi; gan ddisgwyl mwynhau o honynt amser i gael eu hanadl; (tra'r oedd y lleill yn dra phrysur yn gwrthwynebu eu gelynion,) ac yn meddwl yn awr y caent ddial ar y rhai a fuasent yn awdwyr eu blinderau, os byddai i'r Rhufeiniaid gael yr oruwchafiaeth.

Pa fodd bynnag, Ioan a safodd yn ol, oddiar

* Gwel Llyfr V. pen. 4.

ei ofn o Simon, hyd yn oed pan oedd ei wŷr ei hun yn wresog yn gwneud rhuthr ar eu gelynion oddiallan i'r ddinas. Etto ni arhosodd Simon yn anweithgar: ond gan sefyll yn agos i le'r cynllwynwyr, fe ddygodd yno ei beiriannau rhyfel, gan ei gosod mewn pellder cymmwys oddiwrth eu gilydd ar y mur; sef y rhai a gymmerasant gynt oddiar * Cestius; ar rhai ag oedd ganddynt pan oresgynasant y gwersyll a orweddai yn nhŵr Antonia. Ond er bod ganddynt yr offerynau hyn yn eu meddiant, yr oedd eu medrusrwydd mor fychan i'w harfer hwynt, fel yr oeddynt mewn mesur mawr yn ddiddefnydd iddynt. Ond rhyw ychydig oedd o honynt a ddysgasid gan encilwyr, ag a wyddai pa fodd i'w harferyd: yr hyn a wnaethant, er mai gyd â llawer o anneheudra. Felly hwy a fwriasant gerrig a saethau, at y rhai a weithient y brycynnau. Hwy hefyd a redent arnynt yn finteioedd, ac a ymladdent â hwynt. Yn awr y rhai oedd wrth y gweithiau a orchuddient eu hunain â chlwydi, y rhai a ddodid yn daenedig uwch ben eu gweithiau; a'u hofferynau a osodid mewn gwrthwynebiad i'r eiddynt hwy pan wnelent eu rhuthriadau. Yr offerynnau ag oedd gan yr holl lengau wedi eu parottoi iddynt oeddynt ryfedd o gyfleus at yr achos: ond er hynny yr oedd rhyfeddach offer yn perthyn i'r degfed lleng. Y rhai a ergydient biccellau a cherrig ydoedd yn fwy nerthol a helaethach na'r lleill: â'r rhai nid yn unig y gwrthwynebent ruthriadau yr Iuddewon, ond y gyrrent ymmaith hefyd y rhai oedd ar y mur. Yn awr y † cerrig neu'r meini oeddynt o bwysau talent a daflent uwchlaw i ddwy 'stad o belider. Yr ergyd a roddent ni ellid mewn un ffordd ei wrthsefyll, nid yn unig gan y rhai y deuai gyntaf attynt, ond y rhai a fyddai nesaf attynt hwythau encyd o ffordd. Am yr Iuddewon, hwy yn gyntaf a wylient ddyfodiad y garreg, canys yr ydoedd o liw gwyn; ac a ellid gan hynny ei chanfod, nid yn unig oblegid y sŵn mawr oedd ganddi yn rhwygo'r awyr, ond a welid hefyd gan ei disgleirdeb. Yn ganlynol y gwylwyr a safent ar y tŷrau a roddent rybudd iddynt pan ollyngent y peiriant i fyned, ac y deuai y meini oddiwrtho; ac a lefent allan yn uchel, yn iaith eu gwlad eu hunain, ‡ Y MAE'R MAB YN DYFOD. Felly y rhai a fyddent yn ei ffordd a gilient ymaith, ac a fwrient eu hunain ar y ddaear: trwy ba foddion, ac wrth ochelyd eu hunain y modd hwn, y maen a syrthiai i lawr, ac ni wnai niweid i neb. Ond y Rhufeiniaid a ddyfeisiasant pa fodd i ragflaenu hynny, trwy dduo'r cerrig; y rhai yn ol hynny a gyfeirient attynt gyd â llwyddiant, pan na ellid dirnad dyfodiad y meini ym mlaen llaw, megis o'r blaen: ac felly hwy a ddifethent lawer o honynt ar un ergyd. Etto ni ddarfu i'r Iuddewon, er yr holl beryglon hyn, adael i'r Rhufeiniaid godi eu bryncynnau gyd â llonyddwch: ond hwy gyd â hyfdra a bywiogrwydd a ymegnïent eu hunain, ac a'u cadwent ymaith oddiwrthynt, yn gystal y nos a'r dydd.

Ac yn awr wedi gorpheu o'r Rhufeiniaid eu gweithiau, hwy a fesurasant y pelldra yr oeddynt ynddo oddiwrth y mur, a hynny â llinyn ac â phlwm, y rhai a daflent atto oddiar eu bryncynnau: canys ni allent ei fesur trwy un ffordd arall: oblegid yr Iuddewon y rhai a saethai attynt, os deuent i'w mesur eu hunain. A phan ddeallasant y gallai'r peiriannau gyrraedd y mur hwy a'u dygasant i'r lle. Yna y darfu i Titus osod ei beiriannau mewn pellder cymmwys oddiwrth eu gilydd; ac mor agosed i'r mur, a'r na's gallai'r Iuddewon eu gwrthwynebu; a

* Llyfr II. pen. 19.

† Meini, yn y rhyw ŵraidd; neu graig, megis yr arwyddir wrth enw St. Pedr, Math. xvi. 18. Ioan i. 12.

‡ Pa beth a allai fod ystyr yr arwydd-air neu ocheliad hwn, pan welai'r gwylwyr y maen yn dyfod oddiwrth y peiriant, Y MAE'R MAB YN DYFOD; neu pa gam-gymmeriad a all fod yn y darlleniad, ni fedraf wybod. Y llaw-'sgrifen, yn y Groeg a'r Lladin, a gyttuna bob un â'r darlleniad hwn. Ac ni allaf wneuthur derbyniad o un dychymmygol a disail gyfnewidiad o hono; mai nid 'y mae'r mab neu'r maen yn dyfod' a feddylir, megis y gosodwyd gan Dr. Hudson, ac ni ddiwygiwyd gan Havercamp. Pe buasai Josephus wedi ysgrifennu hyd yn oed ei argraphiad cyntaf o'r llyfrau hyn am y rhyfel mewn Hebraeg bur; neu pe buasai'r Iuddewon y pryd hynny yn arfer yr iaith honno yn ei phurdeb yn Jerusalem, y gair Hebraeg am fab sydd mor debyg i'r un hynny am garreg neu faen, Ben ac Eben, fel y gellid derbyn y fath ddiwygiad yn rhwyddach. Ond Josephus a ysgrifenodd ei argraphiad cyntaf at wasanaeth yr Iuddewon oedd tu hwnt i Euphrates, ac felly yn iaith Caldea: megis y gwnaeth yr ail argraffiad yn yr iaith Roegaidd: a BAR oedd y gair yn iaith y Caldeaid am fab, yn lle ben yn yr Hebraeg: ac a arferid nid yn unig yn Caldea, &c. ond yn Judea ei hun, fel y dengys y Testament Newydd i ni. Dio sydd yn peri i ni wybod, fod y Rhufeiniaid eu hunain yn Rhufain, yn datgan enw Simon mab Giora, yn bar Poras, am bar Gioras; fel yr ydym yn dysgu oddiwrth Xiphiline, t. d. 217. Reland a gymmer sulw, fod "Llawer yn gorwygu dirgelwch yma, fel pe byddai'r ystyr yn arwyddo, fod Mab Duw yn dyfod yn awr i wneuthur dial ar bechodau y genedl Iuddewig:" yr hyn yn ddiau oedd wirionedd mewn perthynas i'r pethau a ddigwyddodd: ond yn brin y peth yr oedd yr Iuddewon yn awr yn ei olygu: oddigerth, ysgatfydd, mewn ffordd o wawdio bygythion Crist wedi eu gwneuthur ganddo mor fynych, y deuai, megis eu pennaeth, trwy'r fyddin Rufeinaidd i'w dinystrio hwynt. Eithr ni all fod gan y dehongliad hwn ond gradd fychan o debygolrwydd.

rhoddodd orchymmyn am weithredu â hwynt. A phan ar hynny yr oedd sŵn anferth yn dadseinio o dri lleoedd, a hynny yn ddisymmwth, gwnaethpwyd cyffro mawr gan y dinasyddion ag oedd o fewn y ddinas; ac nid llai dychryn a syrthiodd ar ymbleidwyr eu hunain. Ar ba achos pob math, yn gweled y perygl cyffredin yr oeddynt ynddo, a ddyfeisiasant wneuthur cyd-gyffelyb amddiffyniad. Felly y rhai o wabanol bleidiau a lefasant allan y naill ar y llall, eu bod yn gweithredu yn hollol mewn cyd-ymgais â'u gelynion: pan ddylasent, er na threfnid gan Dduw undeb parhaus rhyngddynt, roddi heibio eu gelyniaeth i'w gilydd yn eu presennol amgylchiad: a chyd-uno yn eu hymdrech yn erbyn y Rhufeiniaid. Yn ganlynol Simon a roddodd gennad i'r rhai a ddaethant o'r deml, trwy gyhoeddiad, i fyned ar y mur. Ioan hefyd ei hun, er na allai gredu fod Simon o ddifrif, a roddodd yr un caniattad iddynt. Felly o bob tu hwy a adawsant heibio eu casineb, a'u hymrafaelion neillduol eu hunain, gan gyd-ymffurfio yn un corph. Yna y rhedasant o gwmpas y muriau: ac â chanddynt rifedi aneirif o ffaglau gyd â hwynt, taflasant y rhai hynny at y peiriannau, gan saethu piccellau yn ddibaid ar y rhai a'u gyrrent i ddryllio'r mur. Ië, y rhai hyfaf o honynt a neidient allan yn lluoedd ar y clwydi a oedd yn cysgodi'r peiriannau, y rhai a dynnent yn ddrylliau; gan syrthio ar y rhai oedd yn eu cylch, a'u curo hwynt; a hyn nid yn gymmaint oblegid eu deheudra, ond yn bennaf trwy'r dibrisdod a'u meddianai wrth wneud eu hymosodiadau. Pa fodd bynnag Titus ei hun a ddanfonai gynnorthwy dibaid i'r rhai a ymosodid yn drymmaf arnynt; ac a osododd y gwŷr meirch a'r saethyddion ar amryw ochrau y peiriannau; ac wrth hynny a gurodd ymaith y rhai a ddygasai dân attynt. Efe hefyd a yrrai ymaith y rhai a saethai gerrig a phicellau oddi ar y tŷrau, ac yna a osododd y peiriannau i fyned gyd â phrysurdeb. Etto ni syflodd y mur wrth yr ergydion hyn; oddigerth y lle pa un a ddarfu i hwrdd-dyrnodiol y bymthegfed lleng ei symmud ar gongl y tŵr, tra'r oedd y mur ei hun yn aros heb ei niweidio: canys nid oedd y mur yn bresennol yn sefyll yn ddarostyngol i'r un niweid â'r castell, yr hwn yn awr oedd bell oddi arnodd. Ac ni allai cwymp y rhan hynny o'r tŵr neu'r castell yn hawdd dryllio un rhan o'r mur gyd ag ef.

Ac yn awr, yr Iuddewon a adawsant heibio eu rhuthriadau tros amser. Ond wrth sylwi ar y modd yr oedd y Rhufeiniaid wedi gwasgaru o amgylch gyd â'u gweithiau, a myned i'w gwersylloedd; (canys hwy a dybiasant ddarfod i'r Iuddewon gilio ymaith o herwydd blinder ac ofn;) y rhai hyn oll ar unwaith a wnaethant ruthr wrth dŵr Hippicus, trwy byrth tywyll; ac ar yr un pryd a ddygasant dân gyd â hwynt i losgi'r gweithiau; ac a aethant yn hyfion i fynu at y Rhufeiniaid, ac at eu hamddiffynfeydd eu hunain: i ba le, wrth y cri a wnaethant, y rhai agosaf a ddaethant yn ebrwydd i'w cynnorthwyo; a'r rhai oedd bellach a redasant ar eu hôl hwynt: ac yma y bu hyfdra'r Iuddewon yn rhy galed i drefnusrwydd y Rhufeiniaid. Ac wedi curo o honynt y rhai a gyfarfuont â hwynt gyntaf; felly hwy a bwysasant ar y lleill oedd yn awr wedi dyfod ynghyd. Felly'r ymladdfa yma ynghylch y peiriannau ydoedd dra phoethlyd; tra'r oedd un ochr yn ymegnio yn galed i'w gosod ar dân, a'r ochr arall yn eu rhwystro hwynt: a chan bob ochr gwaedd gymmysgedig a wnaethpwyd; a llawer o flaenoriaid y frwydr a gwympasant. Pa fodd bynnag yr Iuddewon a fuont yn awr yn rhy galed i'r Rhufeiniaid trwy y rhuthrau cynddeiriog a wnaethant, fel gwallgofiaid, a'r tân a gydiodd afael yn y gweithiau: a'r holl weithiau hynny i gyd a'r peiriannau eu hunain oeddynt mewn perygl o gael eu difa, pe na buasai i lawer o'r milwyr etholedig a ddaethai o Alexandria ymroddi eu hunain i'w gwrthwynebu; a'u lluddias gyd â mwy o gefnogrwydd nag a dybiasant y gallent wneuthur: canys hwy a ymddygasant yn rhagorach yn yr ymladdfa hon na'r rhai oedd ag uwch clod iddynt na hwynt o'r blaen. Dyma fel yr oedd amgylchiad pethau, hyd oni ddaeth Cæsar a chymmeryd y rhai cryfaf o'r gwŷr meirch i wneud ymosodiad ar y gelyn: pan y darfu iddo ef ei hun ladd deuddeg o'r rhai blaenaf o'r Iuddewon. Pa ryw farwolaeth o'r dynion hyn pan ei gwelodd y lleill, hwy a giliasant; ac efe a'u herlidiodd, ac a'u gyrrodd oll i'r ddinas, ac a achubodd y gweithiau oddiwrth y tân. Yn awr fe ddigwyddodd yn yr ymladd-

fâ hon i ryw Iuddew gael ei gymmeryd yn fyw; yr hwn wrth orchymmyn Titus a groeshoeliwyd o flaen y mur, i weled a fyddai i'r lleill o honynt gymmeryd dychryn, a lleihau eu gwrthnysigrwydd. Ond ar ol i'r Iuddewon fyned ymaith, Ioan, yr hwn ydoedd flaenor yr Idumeaid, ac yn ymddiddan â milwr o'i gydnabyddiaeth o flaen y mur, a archollwyd gan biccell, a saethwyd atto gan Arabiad, ac a fu farw yn ebrwydd; gan adael y galar mwyaf o'i ol i'r Iuddewon, a thristwch i'r ymbleidwyr: canys yr ydoedd efe yn ddyn o hynodrwydd mawr, yn ei weithredoedd a'i ymddygiad.

## PENNOD VII.

*Un o'r tŷrau a adeiladwyd gan y Rhufeiniaid yn syrthio o hono ei hun; a'r Rhufeiniaid, ar ol lladdfa fawr, yn cael meddiant o'r mur cyntaf. Titus yn gwneud ei ymosodiad ar yr ail fur. Hefyd ymherthynas i Longinus y Rhufeiniad, a Castor yr Iuddew.*

YN awr, ar y noswaith nesaf, digwyddodd braw a therfysg disymwth ymysg y Rhufeiniaid. Canys wedi i Titus orchymmyn adeiladu tri o dŷrau, o ddeg cufydd a deugain o uchder; fel trwy osod gwŷr arnynt goruwch y bryncynau a godasent, y gellid oddi yno ymlid ymaith y rhai a safent ar y mur; fe ddigwyddodd i un o'r tŷrau hyn syrthio i lawr ganol nos. Ac fel y darfu i'w gwymp wneuthur trwst tramawr, syrthiodd dychryn ar y fyddin; a chan feddwl fod y gelyn yn dyfod i'w gorddiwes, hwy a redasant oll at eu harfau: ar yr hyn y cyfododd terfysg a chythrwfl ymysg y lleugau. Ac fel nas gwyddai neb pa beth a ddigwyddasai, hwy a aethant ymlaen mewn modd anghyssurus: a chan na welsant un gelyn yn ymddangos, yr oeddynt yn ofnus y naill o'r llall: a phob un a ofynodd gan ei gymmydog y gair-gwylio, gyd â phrysurdeb mawr; fel pe buasai 'r Iuddewon wedi goresgyn eu gwersyll. Ac yr awr yr oeddynt fel pobl tan fraw disymmwth, nes hyspysu Titus o'r hyn a ddigwyddasai, a rhoddi gorchymmyn am amlygu'r amgylchiad i bawb. Ac yno, er mai gyd ag anhawsdra, y cawsant ymwared oddi wrth yr aflonyddwch a'u goddiweddodd.

Yn awr yr oedd y tŷrau hyn yn dra phoenus i'r Iuddewon, y rhai yn amgen a wrthwynebent yr Rhufeiniaid yn dra chefnog; canys hwy a saethent attynt â'u hofferynnau ysgafn oddi ar y tŷrau hyn; fel y gwnaent hefyd trwy y rhai a daflent biccellau, y saethyddion, ac ergydwyr cerrig neu feini. Canys ni allai'r Iuddewon gyrraedd yr offerynnau oedd uwchlaw iddynt o herwydd eu huchder; ac ni ellid eu cymmeryd na'u dadymchwel, gan eu bod mor drymion: nac ychwaith eu gosod ar dân, o herwydd eu gorchuddio drosodd â haiarn. Felly hwy a giliasant o gyrraedd y piccellau, ac ni ymdrechent mwyach i rwystro curfeydd yr hyrddod dyrnodiol: y rhai wrth ddulio yn barhaus ar y mur yn raddol a wnaethant iddo ymollwng. Felly y mur eisoes a roddasai le i Nico; canys yn ol yr enw hwnnw yr oedd yr Iuddewon eu hunain yn galw y mwyaf o'u peiriannau, am ei fod yn gorchfygu pob peth. Ac yn awr yr oeddynt tros hir amser wedi tyfu yn flinedig o ymladd, a chadw gwyliadwriaeth; ac a giliasent i lettya y nosweithiau mewn pellder oddi wrth y mur. Meddyliwyd ar gyfrifon eraill ganddynt mai gormodol-waith oedd iddynt wylied y mur; gan fod heblaw yr un a syrthiasai ddwy amddiffynfa etto yn aros: ac â hwynt-hwy wedi llwfrhau, eu cynghorion a gam-sefydlwyd ar bob achosion. Felly llawer o honynt a dyfasant yn ddiog ac a giliasant ymaith. Yna y Rhufeiniaid a neidiasant ar y bwlch a wnaethai Nico yn y mur; a'r holl Iuddewon a adawsant heibio warchawd y mur hwnnw, ac a giliasant at yr ail fur: felly rhai a aethant tros y mur hwnnw ac a agorasant y pyrth, ac a ollyngasant yr holl fyddin y tu fewn iddo. A'r modd yma y darfu i'r Rhufeiniaid gael meddiant o'r mur hwn ar y pymthegfed dydd o'r cyallwyn; yr hwn oedd y seithfed mis, Artemisius, neu Jyar, pan ddadymchwelasant ran fawr o hono, yn gystal ag o barthau gogleddol y ddinas, y rhai a ddadymchwelwyd hefyd gan Cestius ar achos arall.

Ac yn awr Titus a wersyllodd o fewn y ddinas, yn y lle hwnnw a elwid gwersyll yr Assyriaid, wedi goresgyn pob man a orweddai cyn belled a Cedron; ond a gymmerodd ofal i fod allan o gyrraedd piccellau'r Iuddewon: efe wedi hynny yn ebrwydd a ddechreuodd ar ymosodiadau eraill. Yr Iuddewon hwythau yn y cyfamser a rannasant eu hunain yn amrywiol

gyrph o wŷr, ac a amddiffynasant yn wrol y mur hwnnw. Tra y darfu Ioan a'i blaid wneud yr un peth oddiar y twr Antonia, ac o ystafell-dŷ gogleddol y deml; gan ymladd â'r Rhufeiniaid o flaen côf-golofn y brenin Alexander. A phlaid Simon hefyd a gymmerasant iddynt yn rhan y darn o dir ag oedd yn agos i gôf-golofn Ioan, ac a i hamddiffynasant cyn belled a'r porth hwnnw lle y deuai dwfr i mewn i dŵr Hippicus. Pa fodd bynnag yr Iuddewon a wnaethant ruthriadau tra chwyrn, a hynny yn fynych, a chan gyrph o ddynion ynghyd, allan o'r pyrth, ac yno a ymladdasant â'r Rhufeiniaid. A phan erlidid hwy i gyd hyd at y mur, hwy a gurid yn yr ymladdfeydd hynny, am eu bod yn ddiffygiol o fedrusrwydd y Rhufeiniaid. Ond pan ymladdent â hwynt oddi ar y muriau yr oeddynt yn rhy galed iddynt. Y Rhufeiniaid a gefnogid trwy eu galluogrwydd, yn gyssylltedig a'u medr; a'r Iuddewon o herwydd eu hyfdra a'u dibrisrwydd, yr hyn a faethid gan yr ofnau yr oeddynt tanynt, a'r caledwch sydd naturiol i'n cenedl ni tan flinderau. Hwy a annogwyd hefyd fyth trwy obeithio am waredigaeth, fel yr oedd disgwyliad am eu darostwng mewn ychydig amser yn annogaeth i'r Rhufeiniaid. Ac ni ddarfu un ochr dyfu yn flinedig. Ond ymosodiadau ac ymladdfeydd ar y mur, a rhuthriadau gwastadol gan dorfeydd o ddynion a ddigwyddai ar hyd y dydd. Ac nid ydoedd un math o ymladdiad rhyfelgar na chafodd ei arfer y pryd hwn. A'r nos ei hun ydoedd yn brin yn ddigon i'w gwahanu, pan y dechrenent ymladd yn y boreu. Ië, y nos a dreulid heb gwsg ar bob tu; ac ydoedd yn fwy anesmwyth na'r dydd iddynt. Pan oedd un yn ofni rhag i'r mur gael ei gymmeryd; a'r lleill yn arswydo rhuthriadau gan yr Iuddewon ar eu gwersylloedd. Pob ochr a orweddent ar eu harfau tros y nos; ac wrth hynny a fyddent barod ar ymddangosiad cyntaf y goleuni i fyned i frwydr. Yn awr ym mysg yr Iuddewon, yr awyddfryd ydoedd, pwy a elai tan y perygl cyntaf, ac wrth hynny boddhau eu blaenoriaid. Uwchlaw pawb yr oeddynt yn mawr berchi ac yn ofni Simon, ac i'r fath raddau yr oedd efe mewn cyfrifiad gan bob un o honynt ag ydoedd tano ef, fel ar ei orchymmyn yr oeddynt yn barod i ladd eu hunain â'u dwylaw eu hunain. Yr hyn a barai i'r Rhufeiniaid ymgefnogi yn fwy, ydoedd eu harfer gwastadol o fuddugoliaethu, a'u hanarferiad o gael eu gorchfygu yn eu rhyfeloedd gwastadol, a'u parhaus ymdrech, gyd ag ehangder eu haglwyddiaeth. A'r hyn oedd yn awr yn eu hannog yn bennaf ydoedd, fod Titus yn bresennol ym mhob lle gyd â hwynt. Canys fe ymddangosai iddynt, yn beth gwaradwyddus i dyfu yn flinedig pan fyddai Cæsar gyd â hwynt, ac yn ymladd yn wrol megis hwythau; ac a ydoedd hefyd ei hun ar unwaith yn llygad-dyst o'r rhai a ymddygent eu hunain gyd â mwyaf o wroldeb, a'r hwn oedd i'w gwobrwyo hwynt. Yr oedd hefyd heblaw hyn yn cael ei gyfrif yn fantais yn bresennol, fod dewredd rhyw un yn adnabyddus i Cæsar. Ar ba gyfrif llawer o'r milwyr a ymddangosai ag ynddynt fyw o fywiogrwydd meddwl na nerth cyfattebol i hynny. Ac yn awr fel yr oedd yr Iuddewon ynghylch y pryd yma yn sefyll mewn parodrwydd i ymladd o flaen y mur, a hynny yn gorph cadarn o bobl; a thra'r oedd yr amrywiol bleidiau yn taflu piccellau at eu gilydd, Longinus, un o'r radd farchogawl, a neidiodd i ganol byddin yr Iuddewon. Ac fel yr oeddynt yn gwasgaru eu hunain ar yr ymosodiad hwn, lladdodd ddau o'r rhai mwyaf calonnog o'u gwŷr. Un o honynt a archollwyd yn ei enau fel ag yr oedd yn dyfod i'w wrthwynebu; y llall a laddwyd ganddo â'r biccell a dynnodd allan o enau y blaenaf, â pha un y rhedodd trwodd y dyn hwnnw yn ei ystlys fel yr oedd yn diangc ymaith. Ac wedi iddo wneuthur hyn yn gyntaf oll fe ffodd allan o ganol ei elynion at ei ochr ei hun. Felly y dyn hwn a hynododd ei hun wrth ei wrolder; a llawer ydoedd o'r rhai a chwennychent ynnill y cyffelyb glod. Ac yn awr ni ofalodd yr Iuddewon pa faint a orfyddai iddynt ddioddef oddi wrth y Rhufeiniaid; a dyfeisio yr oeddynt yn unig pa ddrwg a allent wneuthur iddynt. Ac angeu ei hun oedd'n ymddangos yn beth bychan ganddynt hwy, os gallent ar yr un amser ond lladd rhyw un o'u gelynion. Ond Titus a gymmerodd ofal i ddiogelu ei filwyr ei hun rhag niweid, yn gystal a'u dodi i orchfygu eu gelynion. Efe hefyd a ddywedai nad oedd trais anystyriol ond gwallgofrwydd; ac mai hynny yn unig oedd wir wroldeb, yr hwn a gyssylltid

ag ymddygiad rheolaidd: efe gan hynny a orchymynodd i'w wŷr gymmeryd gofal, pan ymladdent â'u gelynion, rhag yr un pryd gael eu niweidio ganddynt; ac wrth hynny dangos eu hunain yn feddiannol ar gallineb yn gystal a gwroldeb.

Yn awr, Titus a ddygodd un o'i beiriannau i dŵr canol y rhan ogleddol o'r mur. Yno yr oedd rhyw Iuddew cyfrwys, enw pa un oedd Castor, yn gorwedd mewn cynllwyn, gyd â deg eraill cyffelyb iddo ei hun; y lleill a ddiangasent ymaith oblegid y saethyddion. Y dynion hyn a orweddasant yn llonydd tros amser, megis mewn ofn mawr tan eu dwyfronegau. Ond pan ysgydwodd y tŵr hwy a godasant; a Castor ar hynny a estynodd allan ei law megis erfyniwr, gan alw am Cæsar; a thrwy ei lais a gynhyrfodd ei gymdeithion, a deisyfiasant iddo gymmeryd trugaredd arnynt. Titus yn niniweidrwydd ei galon, yn credu ei fod yn ddifrifol, ac yn gobeithio fod yr Iudddewon yn awr yn edifarhau, a attaliodd fynediad y peiriant dyrnodiol; ac a orchymynodd beidio â saethu at yr erfynwyr, a pharodd i Castor ddywedyd yr hyn oedd ganddo i lefaru. Dywedodd yntau y deuai i lawr, os rhoddai iddo ei ddeheulaw er ei ddiogelwch. Titus a attebodd, ei fod yn foddlon wrth y fath ymddygiad; ac y byddai dda ganddo i'r Iuddewon oll fod o'r un feddwl ag ef; a'i fod ef yn barod i roddi yr un diogelwch i'r ddinas. Yn awr, pump o'r deg a gydymrithiasant ag ef, gan gymmeryd arnynt ddeisyf am drugaredd; pan y llefodd y lleill allan yn uchel, na fyddent fyth yn gaeth-weision i'r Rhufeiniaid, tra fyddai yn eu gallu fod mewn cyflwr o ryddid. Yn awr, tra'r oedd y dynion hyn yn ymrafaelio â'u gilydd am dro mawr, yr ymosodiad ar y lle a oedwyd. Castor hefyd a ddanfonodd at Simon, ac a ddywedodd wrtho y gallent gymmeryd amser ynghylch y peth a fyddai i'w wneuthur, oblegid y rhwystrai ef weithrediad y Rhufeiniaid i fyned ym mlaen tros ennyd o amser. Ac ar yr un pryd ag y danfonodd fel hyn atto, ymddangosodd yn amlwg fel pe buasai yn cynghori y rhai oedd wrthnysig i wneud derbyniad o ddeheulaw Titus er eu diogelwch. Ond hwy a ymddangosasant yn dra digllon, gan ysgwyd eu cleddyfau noethion, a churo eu hunain ar eu dwyfron; ac yn ol hynny cwympent ar y llawr, fel pe lladdasid hwynt. Ar hyn Titus a'i flaenoriaid a ryfeddasant wrth ymröedigaeth y dynion. Ac fel na's gallent ganfod yn gywir y peth yr oeddynt yn ei wneuthur, bu ryfedd ganddynt eu dianwadalwch, a thosturiasant wrth eu trallodedig amgylchiad. Tra y parhaodd y cyfrwng hwn o amser, rhyw un a saethodd biccell at Castor, ac a'i harchollodd ar ei drwyn; eithr efe a'i tynnodd yn rhydd yn ebrwydd, ac a'i dangosodd i Titus, gan achwyn mai triniaeth annhêg ydoedd. Felly Cæsar a geryddodd yr hwn a saethasai'r biccell, ac a ddymunodd ar Josephus, yr hwn ydoedd y pryd hynny gerllaw, i roddi ei ddeheulaw i Castor. Ond Josephus a ddywedodd nad ai efe i fynu atto, oblegid nad oedd y rhith-erfynwyr hynny yn amcanu dim ag oedd dda: efe hefyd a attaliodd ei gyfeillion y rhai a chwennychent fyned i fynu atto. Ond etto yr ydoedd un Eneas, enciliwr, ag a ddywedodd yr ai atto. Castor hefyd a alwodd arnynt am ddyfod o ryw un, fel y derbyniant yr arian ag oedd gyd ag ef. Hyn a barodd i Eneas fod yn chwanoccach i redeg atto â mynwes agored ganddo. Yna'r ymaflodd Castor mewn carreg fawr ac a'i taflodd atto, yr hon a'i methodd ef, o herwydd iddo eisoes fod yn ochelgar: ond etto hi friwodd filwr arall ag oedd yn dyfod atto ef. Pan ddeallodd Cæsar mai twyll ydoedd hyn oll, fe ganfu fod trugarogrwydd mewn rhyfel yn beth niweidiol, o herwydd fod i'r fath gastiau dichellgar lai o gynhwysiad tan arferiad o fwy toster. Felly fe barodd osod y peiriant i weithredu yn drymmach nag o'r blaen, o herwydd ei ddigter wrth y twyll a osodasent arno. Ond Castor a'i gymdeithion a osodasant y tŵr ar dân, pan ddechreuodd ogwyddo, ac a neidiasant trwy'r flam i wagle ag ydoedd oddi tano: yr hyn a barodd i'r Rhufeiniaid ymhellach farnu eu bod yn ddynion o ddibrisrwydd mawr, trwy eu gwaith yn bwrw eu hunain i'r tân.

## PENNOD VIII.

*Y Rhufeiniaid ar ddau dro yn cymmeryd yr eilfed, ac yn gwneud pob parodrwydd i ynnill y trydydd fur.*

YN awr, Cæsar a gymmerodd yr ail fur ar y pummed dydd wedi iddo oresgyn y cyntaf.

Ac wedi i'r Iuddewon ddiangc oddi wrtho, fe aeth i mewn iddo, gyd â mil o rai mwyaf dewisol o'i wŷr arfog; a hyn wrth y lle yr ydoedd y masnachwyr gwlân, y refydd-weithwyr, a marchnad y brethynau: a'r lle'r oedd yr heolydd culion yn arwain yn ŵyrdraws tu ag at y mur. O herwydd paham pe buasai Titus yn dadymchwel rhan helaethach o'r mur yn ddioed; neu ddyfod i mewn, ac, yn ol cyfreithiau rhyfel, difrodi'r hyn oedd yn sefyll o hono, meddyliaf na buasai'r fuddugoliaeth yma yn gymmysgedig ag unrhyw golled iddo ei hun. Ond yn awr oddi ar y gobaith oedd ganddo o wneuthur i'r Iuddewon gywilyddio oblegid eu gwrthnyssigrwydd, trwy beidio bod yn ewyllysgar, pan oedd gallu ganddo i'w cystuddio yn fwy nag oedd angenrhaid, trwy wneuthur llettach adwy yn y mur, mewn trefn, os byddai achos, i encilio gyd â mwy o ddiogelwch: canys ni thybiodd y gosodent faglau i'r hwn oedd yn dangos cymmaint o dynerwch iddynt. Wedi ei ddyfod gan hynny i mewn, ni chaniattaodd i'w filwyr ladd neb o'r rhai a ddalient, na gosod eu tai ar dân. Ië, fe roddodd gennad i'r ymbleidwyr, os ewyllysient, i ymladd â'u gilydd, heb wneud niweid i'r bobl, y rhai yr addawodd adferyd eu meddianau iddynt: canys yr ydoedd yn mawr chwennychu arbed y ddinas er ei fwyn ei hun. Am y trigolion yr oeddynt yn barod er's hir amser i gydsynio â'i gynhygiad. Ond ymherthynas i'r dynion ymladdgar, ei ddynoliaeth hwn yn eu golwg oedd fel arwydd o'i wendid: a meddyliasant wneuthur o hono y cynnygiadau hyn, o herwydd ei analluogrwydd i gymmeryd y gweddill o'r ddinas. Hwy hefyd a fygythiasant roddi'r bobl i farwolaeth, os byddai i neb o honynt ynganyd gair, ynghylch rhoddi i fynu'r ddinas. Hwy hefyd a dorasant wythïau y rhai a soniasant am heddwch: ac yna a ymosodasant ar y Rhufeiniaid hynny a ddaethant o fewn i'r mur. Rhai o honynt a gyfarfuasant yn yr heolydd culion; a rhai a ymladdasant o'u tai yn eu herbyn; tra'r oedd eraill yn gwneud rhuthr disymmwth allan o'r pyrth uchaf; ac yn ymosod ar y cyfryw Rufeiniaid ag oedd y tu hwnt i'r mur; nes i'r rhai a wyliodd y mur ddychrynu yn y fath fodd ag y neidiasant i lawr o'u tŷrau, a diangc i'w hamryw wersylloedd. Ar yr hyn y gwnaethpwyd gwaedd fawr gan y Rhufeiniaid oedd oddi fewn, o herwydd eu bod wedi eu hamgylchu ar bob tu gan eu gelynion; yr hyn a wnaed hefyd yr un modd gan y rhai oedd y tu allan i'r mur, am eu bod tan ofn oblegid y rhai a adawsid yn y ddinas. Fel hyn y tyfodd yr Iuddewon o hyd yn fwy lliosog; gan gael mantais fawr ar y Rhufeiniaid trwy eu cyflawn wybodaeth o'r heolydd culion; ac yno y clwyfasant lawer o honynt, trwy syrthio yn ddisymmwth arnynt, a'u gyrru allan o'r ddinas. Yn awr gorfu i'r Rhufeiniaid yn bresennol eu gwrthwynebu yn oreu ag y medrent: canys ni allent yn nifer liosog fyned allan trwy'r bwlch a wnaethid yn y mur, gan ei fod yn rhy gûl iddynt. Yr ydoedd hefyd yn debygol y llwyr ddrylliasid y rhai oll a aethant i mewn, pe nas danfonasai Titus gymmorth prydlon iddynt. Canys efe a osododd y saethyddion ar bennau uchaf pob un o'r heolydd hynny, ac a safodd ei hun yn y fan lle'r oedd y lliaws mwyaf o'r gelynion; ac â'i biccellau fe roddodd attalfa arnynt; megis ag yr oedd Domitius Sabinus hefyd gyd ag ef, gwr nerthol, ac un a ymddangosodd yn y frwydr hon ei fod felly. Y modd hwn y darfu i Cæsar barhau i saethu piccellau at yr Iuddewon, a'u rhwystro i orddiwes ei wŷr; a hynny nes ymadael o honynt allan o'r ddinas.

Fel hyn y gyrrwyd y Rhufeiniaid allan, wedi iddynt unwaith feddiannu yr ail fur: trwy'r hyn y darfu i'r gwŷr ymladdgar oedd yn y ddinas ymddyrchafu yn eu meddyliau oblegid y llwyddiant hwn a gawsant; ac a ddechreuasant feddwl na anturiai y Rhufeiniaid ddyfod fyth yn rhagor i'r ddinas: ac os cadwent o'i mewn eu hunain, na orchfygid hwynt mwyach. Canys Duw a ddallodd eu meddyliau, oblegid y troseddiadau a fuasent yn euog o honynt; ac ni fedrent ddirnad pa gynnifer mwy o fyddinoedd oedd gan y Rhufeiniaid na'r rhai a fwriasid yn awr allan: ac nid ystyrient ymhellach y modd yr oedd newyn yn ymlusgo i'w plith hwynt. Canys hyd yn hyn hwy a borthasant eu hunain â lluniaeth a gawsant trwy drais, ac wrth dywallt gwaed y dinasyddion. Ond yn awr yr oedd tlodi er's hir amser, wedi gorddiwes y goreuon, a llawer eisoes wedi meirw o ddiffyg angenrheidiau. Er i'r ymbleidwyr yn wir ddychymmygu y byddai distrywiad y bobl yn esmwythâd iddynt eu hunain. Canys hwy a

ddymunasant na chedwid neb arall yn fyw ond y rhai a fyddai yn erbyn heddwch â'r Rhufeiniaid, ac oedd yn ymroddi i ymddwyn yn wrthwyneb iddynt: a da oedd ganddynt pan fyddai i liaws o rai o wahanol ddymuniad gael eu difetha, megis trwy hynny y caent eu rhyddhau oddiwrth y baich ag oedd y rhai hynny iddynt. A thyma oedd tymmer eu meddyliau ymherthynas i'r rhai ag oedd yn y ddinas; tra'r ymwisgent eu hunain â'u harfau, ac yr oeddynt yn gwrthsefyll y Rhufeiniaid pan gynhygient ddyfod i'r ddinas drachefn; ac a wnaethant fur o'u cyrph eu hunain, gogyfer â'r lle hwnnw a fwriasid i lawr. Fel hyn y darfu iddynt tros dridiau gyd â gwrolder amddiffyn eu hunain. Ond ar y pedwerydd dydd, ni allasant ymgynnal tan ymosodiadau tanbaid Titus; ond gwnaethpwyd iddynt trwy orfod ddiangc i'r man y ffoesent iddo o'r blaen: felly efe gyd â hawsdra a feddianodd y mur hwnnw drachefn, ac a'i dadymchwelodd yn llwyr. Ac wedi iddo osod gwersyllwyr yn y tŷrau ag ydoedd ar du deheuol y ddinas, myfyriodd pa ddull y gwnelai ymosodiad ar y trydydd fur.

## PENNOD IX.

*Am orphwysiad ac adnewyddiad y garchae neu'r cynllwyn. Hefyd ymddiddaniad Josephus â'i gydwladwyr ymherthynas i heddwch.*

CYMMERWYD seibiant yn awr tros beth amser ganTitus ymherthynas i ddygiad y cynllwyn ym mlaen, i roddi hamdden o ystyriaeth i'r ymrysonwyr; ac i weled pa un a fyddai i ddadymymchweliad eu hail fur eu gwneuthur yn ystwythach; neu pa un ai nid oeddynt tan ryw fesur o ofn rhag newyn; o herwydd na fyddai i'r yspail a gawsent trwy drais fod yn hir yn ddigonol iddynt. Felly fe wnaeth ddefnydd o'r oediad hwn i'r diben i ddodi mewn effaith ei amcanion ei hun. Yn ganlynol fel yr oedd yr arferol amser appwyntiedig, yn yr hwn yr oedd i ddosparthu arian cyflogawl rhwng y milwyr, yn awr wedi dyfod, rhoddodd orchymmyn i'r blaenoriaid i osod y fyddin mewn trefn i frwydr o flaen wyneb y gelyn, ac yna rhoddi i bob un ei dâl. Felly y milwyr, yn ol eu defod, a agorasant y cauadau tan ba rai yr oedd eu harfau yn guddiedig, ac a wnaethant gychwyniad gyd â'u tariannau am danynt; megis ag y dafu i'r gwŷr meirch flaenori yn ei harddwych addurniadau. Yna y darfu i'r mannau ag oedd o flaen y ddinas lewyrchu yn dra disglaer tros hir o ffordd. Ac nid oedd un peth mwy boddiongar gan wŷr Titus eu hun, ac yn fwy arswydus i'r gelyn na'r olwg honno. Canys yr hen fur oll, a thu gogleddol y deml oeddynt lawn o edrychwyr; a gallai un ganfod y tai wedi eu llenwi â rhai oedd yn edrych arnynt. Ac nid oedd un rhan o'r ddinas pa un ni orchuddiwyd â'u lliaws. Iё, braw a dychryn mawr a oddiweddodd y rhai calettaf o'r Iuddewon eu hunain, pan welsant yr holl fyddin wedi dyfod i'r un lle, ynghyd â gwychder eu harfogaeth, a threfnusrwydd eu gwŷr. Ac nis gallaf amgen na meddwl y cyfnewidiasai yr ymrysonwyr eu meddyliau y nos honno, oni buasai'r creulondeb a wnaethant yn erbyn y bobl fod mor erchyll, a'u bod yn anobeithio am faddeuant gan y Rhufeiniaid. Ond gan gredu mai marwolaeth gyd ag arteithiau oedd raid fod eu cospedigaeth, os nad aent ymlaen yn amddiffyniad y ddinas, yr oeddynt yn barnu fod yn llawer gwell marw mewn rhyfel. Tynghedfen hefyd oedd yn llywodraethu mor bell arnynt, a bob yn rhaid i'r rhai diniweid farw gyd â'r euog: a'r ddinas oedd raid ei difetha gyd â'r ymrysonwyr oedd ynddi.

Fel hyn y darfu i'r Rhufeiniaid dreulio pedwar o ddyddiau yn dosparthu'r arian cyflogawl rhwng eu hamrywiol lengau o filwyr. Ond ar y pummed dydd, pan nad oedd dim arwyddion o heddwch yn ymddangos oddiwrth yr Iuddewon; Titus a rannodd y llengau, ac a ddechreuodd godi bryncynnau; un wrth dŵr Antonia, a'r llall gerllaw côf-golofn Ioan. Yn awr, ei fwriad oedd cymmeryd y ddinas uchaf wrth y golofn honno, a'r deml wrth dŵr Antonia. O blegid os na chymmerid y deml, byddai yn beryglus gwneuthur cadwraeth o'r ddinas ei hun. Felly wrth bob un o'r lleoedd hyn fe gododd wrth-glawdd neu fryncyn: y llengau hefyd a gododd bawb ei un. Am y cyfryw a weithiasant wrth golofn Ioan, yr Idumeaid, ar rhai oedd mewn arfau gyd â Simon, a wnaethant ruthriadau arnynt, ac a ddodasant beth attalfa i'w gwaith; tra'r oedd plaid Ioan, a lliaws y brwdfrydwyr gyd â hwynt, yn gwneuthur yr un peth â'r rhai oedd wrth dŵr Antonia. Yr Iuddewon hyn a fuont yn awr ry galed i'r

Rhufeiniaid; nid yn unig trwy ddi-feth ymladdfa, o herwydd sefyll o honynt ar uwch tir, ond oblegid eu bod yn awr wedi arfer eu hofferynau eu hunain. Canys eu beunyddiol arferiad o honynt y naill ddydd ar ol y llall, a barodd yn raddol iddynt ddyfod yn gyfarwydd â hwynt. Canys o un math o offerynau i saethu piccellau â hwynt, yr oedd ganddynt dri chant a deugain o rai i feini. Trwy'r moddion o ba rai hwy a wnaethant yn anhawsach i'r Rhufeiniaid gyfodi eu bryncynau. Ond yna Titus yn gwybod y byddai'r ddinas yn cael ei hachub, neu ei difetha iddo ei hun, a ddarfu nid yn unig fyned ym mlaen a'r gwarchae gyd â thanbeidrwydd, ond ni adawodd heibio beri i'r Iuddewon gael eu hannog i edifeirwch. Felly fe gydgymmysgodd gynghorion da a'i weithrediadau yn y cynllwyn. A chan ystyried fod cynghorion yn fynych yn fwy effeithiol nag arfau, fe'u perswadiodd i roddi i fynu'r ddinas, yr hon mewn rhan oedd eisoes wedi ei chymmeryd, a thrwy hynny achub eu hunain: ac a ddanfonodd Josephus i lefaru wrthynt yn eu hiaith eu hunain. Canys efe a ddychymygodd yr ymostyngent i berswadiad un o'u cydwladwyr eu hunain.

Felly Josephus a dramwyodd o amgylch ogylch y mur, ac a geisiodd gael lle allan o gyrhaeddiad eu piccellau, ac etto o fewn eu clyw hwynt: ac fe attolygodd arnynt, mewn llawer o eiriau, "I arbed eu hunain, ac arbed eu gwlad, a'u teml; ac na fyddent yn fwy gwrthnyssig yn eu hamgylchiadau na dieithriaid eu hunain. Oblegid fod y Rhufeiniaid, y rhai nid oedd iddynt ddim perthynas â hwynt, yn perchi eu dinasoedd â'u lleoedd cyssegredig, er eu meddianu gan eu gelynion; ac a ddarfu iddynt ymattal hyd yn awr rhag cyffwrdd â hwynt. Pan y mae y cyfryw ag a ddygwyd i fynu tanynt, ac, os achubir hwynt, a fydd yr unig bobl a fedant y budd oddi wrthynt, yn prysuro rhoddi achlysur i'w dinystrio. Eu bod yn sicr wedi canfod eu mur cadarnaf yn cael ei ddadymchwel; a bod y mur ag sydd yn awr yn sefyll yn wannach na'r rhai a gymmerwyd eisoes. Rhaid eu bod yn deall fod galluogrwydd y Rhufeiniaid yn anorchfygol; ac arferu o honynt eu gwasanaethu hwynt. Ac os caniatteir mai peth iawn yw ymladd am ryddid, dylasid gwneuthur hynny ar y cyntaf. Ond i'r rhai a syrthiasant unwaith tan awdurdod y Rhufeiniaid, ac a ymostyngasant iddynt er's cynnifer maith o flynyddoedd, gymmeryd arnynt ar ol hynny ysgwyd yr iau honno ymaith, ydoedd waith rhai a fynnent farw yn druenus, ac nid y cyfryw ag oedd yn hoffi rhyddid. Heblaw hyn, gall dynion ag achos da, rwgnach wrth y dianrhydedd a wneir iddynt, o orfod cydnabod meistriaid an-enwog arnynt; ond ni ddylent wneuthur hynny tu ag at y rhai sydd â phob peth wrth eu gorchymmyn. Canys pa gwrr i'r byd sydd ag a ddiangodd rhag y Rhufeiniaid, oddigerth mannau di-ddefnydd o herwydd gwres, neu oerfel anghymmedrol. Ac amlwg ydyw ddarfod i ffortun ar bob llaw ymddangos o'u tu hwynt: a bod Duw, wedi myned o amgylch yr holl genedlaethau â'r arglwyddlaeth hon, yn awr wedi ei sefydlu yn Itali. Ymhellach, ei bod yn gyfraith gadarn a sefydlog, hyd yn oed ym mysg bwystfilod gwylltion, yn gystal a dynion, i roddi'r goreu i rai a fyddo gryfach na hwynt; ac felly gadael yr arglwyddiaeth iddynt hwy ag sydd drech nag eraill mewn rhyfel. Am ba reswm y darfu ein hynafiaid, y rhai a ragorai ym mhell arnynt yn eu cyrph a'u heneidiau, ynghyd â manteision eraill, er hynny ymostwng i'r Rhufeiniaid; yr hyn ni's goddefasent mo'no, pe na wybuasent fod Duw o'u plaid hwynt. Ymherthynas iddynt eu hunain, pa beth a allant hyderu arno yn eu gwrthwynebiad hwn, pan y mae y rhan fwyaf o'u dinas eisoes wedi ei chymmeryd? a phan y mae y rhai sydd o'i mewn tan fwy trueni na phe byddent wedi eu cymmeryd, er sefyll o'u mur etto i fynu? Canys nid yw y Rhufeinwyr yn anadnabyddus o'r newyn sydd yn y ddinas, trwy'r hwn eisoes y difethir y bobl; a'r ymladdwyr eu hunain ym mhen ychydig amser a fyddant yn yr un amgylchiad. Canys er pe byddai i'r Rhufeiniaid roddi heibio'r gwarchae, a pheidio syrthio ar y ddinas â'u cleddyfau yn eu dwylaw; etto'r ydoedd rhyfel anorfyddol yn eu gorddiwes o mewn, pa un oedd bob awr yn cynnyddu: oddigerth iddynt anturio cyhoeddi rhyfel â newyn, neu allu yn unig ddarostwng eu naturiol angen."

Chwanegodd ymhellach, "Pa mor gyfiawn o beth ydoedd iddynt newid eu hymddygiadau, cyn i'w trallodion ddyfod yn anfeddyginiaeth-

ol; ac i gydsynio ag annogaeth a fyddai yn tueddu i'w hunain ddiogelwch, tra'r oedd cyfleusdra yn ymgynnyg iddynt i hynny. Oblegid na fyddai i'r Rhufeiniaid ystyried eu gweithredoedd a aethant heibio, er eu hanfantais, oddieithr iddynt barhau yn eu trahaus ymddygiad hyd y diwedd: o herwydd eu bod hwy o naturiaeth yn dyner yn eu buddugoliaethau; ac yn dewis gwneuthur yr hyn oedd fuddiol, o flaen y peth a fyddai eu tymmer yn eu cymmell iddo. Nad oedd eu budd neu eu lleshâd hwy yn gorwedd yn gynnwysedig y'ngadawiad y ddinas yn wâg o drigolion, a'r wlad yn ddiffeithwch. Ar ba gyfrif yr ydoedd Cæsar yn awr yn cynnyg ei ddeheulaw er eu diogelwch. Ond os rhaid a fyddai iddo gymmeryd y ddinas trwy rym arfau, nad achubai neb o honynt; a hynny, yn enwedigol, os gwrthodent ei gynhygion yn eu heithaf gyfyngderau presennol. Canys y muriau ag a gymmerwyd eisoes, ni allai amgen na sicrhau iddynt y goresgynnid y trydydd fur ar fyrder. Ac er pe byddai i'w hamddiffynfeydd brofi yn rhy gadarn i'r Rhufeiniaid dorri trwyddynt, etto byddai y newyn yn ymladd tros y Rhufeiniaid, yn eu herbyn."

Tra'r oedd Josephus yn rhoddi y cynghor hwn i'r Iuddewon, llawer o honynt a wawdiasant oddiar y mur, ac a'i gwaradwyddasant ef; ïe, rhai a saethasant atto eu piccellau. A phan nad allai eu perswadio hwynt ei hun â'i gynghorion da, fe gymmerodd yn llaw adrodd yr hanesion perthynol i'n cenedl ein hunain, ac a lefodd allan yn uchel: "O greaduriaid truenus! a ydych mor anystyriol o'r rhai a arferent eich cynnorthwyo chwi, ag yr ymladdwch â'ch arfau ac â'ch dwylaw, yn erbyn y Rhufeiniaid? Pa bryd erioed y darfu i ni orchfygu un genedl arall trwy'r fath foddion? A pha amser a fu na ddarfu i Dduw, yr hwn yw Creawdwr y bobl Iuddewig, eu dial ar y rhai a'u drygent. Oni throwch drachefn i edrych yn ol, ac ystyried o ba le y mae eich bod yn ymladd gyd â'r fath danbeidrwydd, a pha fawr amddiffynydd a ddarfu i chwi ei ammherchi? Oni alwch i'ch cof y pethau mawrion a wnaethpwyd i'ch tadau gynt, a'r lle cyssegredig hwn; a pha ryw elynion mawrion i chwi a ddarostyngwyd tanoch? Yr wyf fy hun yn grynedig wrth adrodd gweithredoedd Duw o flaen eich llygaid, y rhai ydych anheilwng o'u clywed. Pa fodd bynnag, gwrandewch arnaf, fel yr hyspyser i chwi y modd yr ydych yn ymladd, nid yn unig yn erbyn y Rhufeiniaid, ond yn erbyn Duw ei hun. Yn yr amser gynt yr ydoedd un Necao, brenin yr Aipht, yr hwn hefyd a elwid Pharaoh. Efe a ddaeth ag aneirif rifedi o filwyr, ac a oresgynodd y frenhines Sarah, mam ein cenedl ni. Pa beth a wnaeth Abraham ein cyndad ar yr achos? A amddiffynodd efe ei hun yn erbyn y dyn niweidiol hwnnw trwy ryfel? er bod ganddo dri chant a deunaw o * gadbeniaid dano, a byddin anfesuredig tan bob un o honynt. Yn wir ni chyfrifodd efe hwynt ond megis diddim oll, heb gynnorthwy oddi wrth Dduw; ac yn unig a † ledodd ei ddwylaw tu â'r lle sactaidd hwn, pa le a ddarfu i chwi yn awr ei halogi; ac a hyderodd arno ef, fel ei gynhaliwr anffaeledig, yn lle ei fyddin ei hun. Oni ddanfonwyd ein brenhines yn ol heb ei halogi at ei gŵr, y prydnhawn nesaf? Pan y darfu i frenin yr Aipht ffoi ymaith; gan fawr-berchi y lle hwn a halogasoch chwi, trwy dywallt ynddo waed eich cydwladwyr. Ac efe hefyd a grynodd wrth y gweledigaethau hynny a welodd yn amser nos: ac a gyfrannodd arian ac aur i'r Hebreaid, megis i bobl ag a garwyd gan Dduw. A grybwyllaf fi am symmudiad ein tadau i'r Aipht? Y rhai pan arferwyd hwynt yn orthrymus, ac y syrthiasant tan awdurdod brenhinoedd dieithr, tros bedwar can mlynedd ynghyd, ac a allasent amddiffyn eu hunain trwy ryfel, ac ymladd; etto ni wnaethant ychwaneg na gorchymmyn eu hunain i ofal Duw. Pa rai sydd na's gwyddant y modd y goresgynwyd yr Aipht gan bob math o fwystfilod gwylltion, ac a'i difethwyd gan bob rhyw heintiau: y modd na ddygodd eu tir ei ffrwyth; fel y methodd y dwfr yn yr afon Nilus; y dilynodd deg o bláau'r Aipht, y naill ar ol y llall: a pha fodd, trwy'r moddion hynny, yr anfonwyd ein tadau ymaith, tan warcheidwaid, heb dywallt gwaed, ac heb fyned i unrhyw berygl: o herwydd fod

* Diwygiwch y cam-gymmeriad hwn o'r Hynaf. I. 10.

† Meddyliau Josephus yn ei ymadrodiad hynod hwn ynghylch yr Iuddewon ydyw, ddarfod nid yn unig i Abraham, ond Pharaoh brenin yr Aipht weddio tu a theml yn Jerusalem, neu tu â Jerusalem, lle'r ydoedd mynydd Seion, a mynydd Moriah, ar ba le y safodd y tabernacl a'r deml yn ol hynny; a hyn ym mhell cyn adeiladu y babell neu'r tabernacl, na'r deml Iuddewig. Ac nid yw'r gorchymmyn pendant a roddwyd gan Dduw i Abraham, i fyned daith deuddydd neu dri yn bwrpasol i ofrymu ei fab Isaac yno, yn wrthwynebol i'r cyfryw dyb.

Duw yn arweinydd iddynt fel ei ddewisedig bobl. Ymhellach, oni ddarfu i * Palestina ruddfan tan y ddifrod a wnaeth yr † Assyriaid, pan ddygasant ymaith yr arch gyssegredig? megis ag y gwnaeth eu heilun Dagon; ac fel y gwnaeth hefyd holl genedl y rhai a'i dygodd ymaith: pa fodd y tarawyd hwynt â chlefyd blin, fel y daeth eu hymysgaroedd allan, gyd â'r hyn a fwyttasent; nes i'r dwylaw hynny a'i dygasent ymaith orfod ei dwyn yn ol drachefn; a hynny gyd â sain symbal a thympan, ac offrymmu, mewn trefn i ddihuddo digllonrwydd Duw am eu trais i'w sanctaidd arch. Duw oedd yr hwn a ddaeth y pryd hynny yn flaenor i ni, ac a gwblhaodd y pethau tros ein tadau: a hynny oblegid na chyffyrddent â rhyfel ac ymladdiad, ond a adawsant iddo ef farnu ynghylch eu hachos. Pan ddug Senacherib, ‡ brenin Assyria gyd ag ef holl Asia, ac yr amgylchynodd y ddinas hon â'i fyddin, a syrthiodd efe trwy ddwylaw dynion? oni dderchafwyd ei ddwylaw at Dduw gan ein brenin mewn gweddi, heb gyffwrdd ag arfau rhyfel, pan difethwyd gan Angel Duw yr aneirif fyddin honno mewn un noswaith? pan y darfu i'r brenin Asyriaidd, fel ag y cyfododd y boreu nesaf, eu cael oll yn gelaneddau meirwon: a phan ddarfu, gyd â gweddill ei fyddin, ffoi ymaith oddi wrth yr Hebreaid, er eu bod yn anarfog, ac na erlidiasant ef. Yr ydych hefyd yn adnabyddus o'r caethiwed a fuom tano yn Babilon, lle bu'r bobl yn gaeth-weision tros ddeng mlynedd a thrugain: etto ni ddygwyd hwy drachefn i ryddid, cyn i Dduw wneuthur Cyrus yn offeryn § grasol i'w ddwyn o amgylch. Yn ganlynol fe'u rhyddhawyd ganddo ef, ac a adferodd drachefn addoliad eu Gwaredwr, yn ei deml. Ac i lefaru yn gyffredin, ni allwn ddwyn un siampl o ddarfod i'n tadau lwyddo trwy ryfel; neu fethu a llwyddo, pan heb ryfel, y gorchymynent eu hunain i ofal Duw. Pan safent gartref hwy a orchfygent, yn ol boddlonrwydd eu Barnwr; ond pan elent allan i ymladd, hwy a siommwyd bob amser. Er siampl, pan warchaeodd brenin Babilon ar y ddinas hon, ac yr ymladdodd ein brenin Sedeciah yn ei erbyn, yn wrthwyneb i'r hyn a rag-ddywedasid wrtho gan Jeremiah y prophwyd, efe ar unwaith a gymerwyd yn garcharor, ac a welodd y ddinas a'r deml wedi eu dadymchwelyd.‖ Etto pa faint mwy oedd cymedroldeb y brenin hwnnw, na'r eiddo eich llywodraethwyr presenol? a'r bobl ydoedd tano ef, na chwychwi yr amser hwn? Canys wedi i Jeremiah lefain allan yn uchel, pa mor ddig ydoedd Duw wrthynt, oblegid eu troseddiadau; a dywedyd y cymmerid hwynt yn garcharorion, oddi eithr iddynt roddi i fynu'r ddinas; ni ddarfu i'r brenin na'r bobl ei roddi i farwolaeth. Ond 'am danoch chwi, (i fyned heibio i'r hyn a wnaethoch yn y ddinas, yr hyn ni allaf ei ddescrifio yn y dull ag y mae eich drygioni yn ei ofyn;) yr ydych yn fy ammharchu, ac yn bwrw saethau attaf, yr hwn yn unig wyf yn eich cynghori i achub eich hunain, megis ag yr ydych yn cythruddo, pan eich cymmellir i adgoffa eich pechodau, ac ni oddefwch gymmaint a chrybwyll y drwg-weithredoedd a fuoch yn euog o honynt. Ymberthynas i siampl arall; pan ddarfu i ¶ Antiochus, yr hwn a elwid Epiphanes, i ymosod ar y ddinas hon, a bod yn euog o lawer o gabledd yn erbyn Duw; ac i'n tadau gyfarfod ag ef mewn arfau, yna hwy a laddwyd yn y frwydr; y ddinas hon a anrheithiwyd gan ein gelynion, a'n cyssegr a anghyfanneddwyd gan ein gelynion tros dair blynedd a chwe' mis ynghyd. A pha haid y rhaid i mi ddwyn ychwaneg o siamplau? Yn wir beth a allai hynny fod a gynhyrfodd fyddin o Rufeiniaid gyntaf yn erbyn ein cenedl? Onid annuwioldeb preswylwyr y lle hwn a'i parodd? Pa bryd bu dechreuad ein caethiwed? Oni tharddodd oddiwrth yr ymryson a fu rhwng ein teidiau; pan ddarfu i ymddygiad gwallgofus Aristobulus a Hyrcanus, a'n cydymrafaelion

* Philistiaid.

† Nodwch yma fod Josephus, yn ei gyffelyb areithiad ag o'r blaen, yn galw y Syriaid, ie'r Philistiaid, ar du deheuol Syria, yn Assyriaid; yr hyn y mae Reland yn ei olygu megis peth ag oedd gyffredin ym mysg ysgrifenwyr hynafiaethol. Nodwch hefyd mai da y gallai Josephus ddodi ar gof i'r Iuddewon, fel y mae yn gwneuthur yma fwy nag unwaith, eu rhyfedd a'u gwrthiol waredigaeth, oddi wrth Senacherib brenin Asyria, tra'r oedd y fyddin Rufeinig, ac ef ei hun gyd â hwynt, yn awr yn gwersyllu ar, a thu hwnt i ddarn o dir, y gorweddasai y fyddin Assyriaidd arno 7 o flynyddau o'r blaen; a pha rywle a gadwyd yr enw Gwersyll yr Asyriaid arno hyd y dydd hwnnw. Gwel pen 7. ar 12.

‡ Gwel 2 Bren. xviii. 13. xix. 37. 2 Cron. xxxii. Esay xxxvi, xxxvii.

§ Ezra i.

‖ Jer. xxxix.

¶ Josephus a ddywed yma, ddarfod ymladd yn erbyn Antiochus Epiphanes gan yr Iuddewon, a chymmeryd o hono ef Jerusalem trwy drais, fel y gwnaethai o'r blaen, I. 1. ac fel y mae 2 Maccab. x. 3. Etto y mae efe yn gymmwys yn ei wrthwynebu yn ei ddiweddarach ai gywirach, yr Hynaf. xii. 5. Y rhifedi o dair blynedd a chwe mis, a ddylid hefyd ei ddiwygio yn dair blynedd union, o'r halogiad yma o'r deml.

oll, ddwyn Pompey i oresgyn y ddinas hon; ac wedi i Dduw ddarostwng y rhai hynny i'r Rhufeiniaid, ag oedd yn anheilwng o'r rhyddid a fwynhasant. Yn ol gwarchaedigaeth gan hynny o dri mis, gorfu iddynt roddi eu hunain i fynu; er na fuasent yn euog o'r fath drosedd yn erbyn ein cyssegr a'n cyfreithiau ag a fuoch chwi. A hyn pan oedd ganddynt fwy o achlysur i fyned i ryfel na chwychwi. Oni wyddom i ba ddiwedd y daeth Antigonus, mab Aristobulus? tan deyrnasiad pa un fe drefnodd Duw i'r ddinas hon gael ei chymmeryd drachefn ar gyfrif drygioni'r bobl. Pan ddarfu i Herod mab Antipater, ddwyn arnom Sosius; ac yntau a ddygodd i mewn y fyddin Rufeinaidd. Hwy y pryd hynny a amgylchwyd, ac a warchaewyd am chwe'mis; nes, fel cosp am eu pechodau, eu cymmeryd hwynt; ac i'r ddinas gael ei hanrheithio gan y gelyn. Y modd yma'r ymddengys, nad oedd arfau wedi eu trefnu i'n cenedl ni, ond ein bod yn wastadol i gael ein rhoddi i fynu i ymladd i'n herbyn a'n cymmeryd. Canys fy meddwl yw y dylasai y rhai a breswyliai'r lle sanctaidd hwn, orchymmyn trefniad pob peth i Dduw: ac yna anhyderu ar gynnorthwy gan ddynion, wedi rhoddi i fynu eu hunain a'u hachos i'w goruchel Lywiawdwr. Am danoch chwi, pa faint a wnaethoch o'r pethau hynny a orchymynwyd gan ein deddfwr? a pheth na wnaethoch o'r hyn a euog farnodd efe? Pa faint mwy annuwiol ydych chwi na'r rhaia gymmerwyd felly mor ddisymmwth? Ni wnaethoch chwi gymmaint a gochelyd y pechodau hynny a arferir eu gwneuthur yn ddirgel: yr hyn yr wyf yn feddwl yw lledrad, bradwriaethau, a godineb. Yr ydych yn ymryson ynghylch yspail a llofruddiad, ac yn dyfeisio ffyrdd rhyfedd i wneuthur drygioni. Ië, y deml ei hun sydd yn dderbynfa y cwbl oll. A'r lle dwyfol hwn a halogwyd gan ddwylaw y rhai hynny o'n gwlad ein hunain: yr hwn le a berchid gan y Rhufeiniaid, pan ydoedd mewn pellder oddiwrthynt; pan y maent wedi goddef i amryw o'u defodau eu hunain roddi lle i'n cyfraith ni. Ac ar ol hyn oll, a ddisgwyliwch iddo ef yr hwn a ddirmygasoch gymmaint â'ch camweddau i fod o'ch plaid chwi? Yna yn sicr y mae genych hawl i fod yn erfynwyr; ac i alw arno i'ch cynorthwyo; mor bur a dihalog yw eich dwylaw! A ddarfu i'ch brenin Hezecia ddyrchafu i fynu y fath ddwylaw at Dduw yn erbyn brenin Assyria? Ac a ydyw y Rhufeiniaid yn arferyd y fath gabledd ag a ddarfu i frenin Assyria, fel y gall fod genych reswm i ddisgwyl i'r cyffelyb ddialedd ddisgyn arnynt hwy? Oni ddarfu i'r brenin hwnnw wneud derbyniad o arian gan ein brenin ni, ar yr ammod hwn, na fyddai iddo ddifetha y ddinas; ac etto, yn wrthwyneb i'r llŵ a gymmerodd, fe ddaeth i wared i losgi'r deml. Pan nad yw y Rhufeiniaid yn ceisio ychwaneg na'r deyrnged arferedig, yr hon a dalodd ein tadau i'w hynafiaid: ac os bydd iddynt hwy unwaith ond cael hynny, ni amcanant ddifetha'r ddinas hon, na chyffwrdd â'r gyssegrfa. Ië, hwy a ganiattânt, heblaw hynny, ryddid i'ch hiliogaeth; eich meddianau a ddiogelir, a'ch cyfreithiau a gedwir yn ddi-drais. Ac y mae'n wallgofrwydd mwyaf i ddisgwyl am i Dduw ymddangos yn ffafrol i'r drygionus, megis i'r cyfiawn; pan yr adnebydd y pryd y mae'n gyfiawn i gospi dynion am eu pechodau. Yn ganlynol fe dorrodd rym yr Assyriaid ar y noswaith gyntaf wedi iddynt ymwersyllu. O herwydd pa ham pe barnasai ein cenedl ni yn deilwng o ryddid, neu y Rhufeiniaid o gosp, gosodasai yn ebrwydd gospedigaeth ar y Rhufeiniaid hyn, megis ag y gwnaeth ar yr Assyriaid, pan y dechreuwyd gan Pompey gyffwrdd â'n cenedl: neu pan ar ol hynny, y daeth Sosius i fynu yn ein herbyn; neu pan ddifrodwyd Galilea gan Vespasian; neu, yn ddiweddar, pan ddaeth Titus gyntaf yn erbyn y ddinas hon. Er na ddarfu i * Magnus a Sosius, nid yn unig ddiangc heb ddioddef dim, ond a gymmerasant y ddinas trwy drais; megis yr aeth Vespasian o'r rhyfel a wnaed yn eich erbyn chwi i feddiannu'r ymerodraeth. Ac am Titus, y † ffynhonau hynny y rhai a sychwyd o'r blaen i fynu, pan oeddynt tan eich awdurdod chwi, wedi ei ddyfodiad ef, a redant yn llawnach nag erioed. Yn ganlynol chwi wyddoch ddarfod i Siloam, yn gystal â'r holl ffynhonau eraill y tu allan i'r

* Pompeius Magnus, Pompey y Mwyaf.

† Y sychiad hwn i fynu o ffynhonnell Siloam yn Jerusalem, pan oedd yr Iuddewon mewn eisiau o honi; a'i llifeiriant helaethlawn, pan oedd angen am ddwfr ar elynion yr Iuddewon; a hynny yn nyddiau Zedeciah, a dyddiau Titus; ac yn amser y diweddaf ar ddamwain dra adnabyddus i'r Iuddewon, fel y tystia Josephus yn eu hwynebau; ydynt arwyddion tra hynod o waith Dwyfol ragluniaeth, er cosp ar y genedl Iuddewig, pan oeddynt wedi tyfu yn annuwiol iawn ar bob un o'r amserau hyn o ddinystriad Jerusalem.

ddinas, fethu yn gymmaint, ag i wneuthur gwerth o'r dwfr wrth wahanol fesurau: pan y maent yn awr â'r fath gyflawnder o ddwfr ynddynt i'ch gelynion, ag sydd ddigonol nid yn unig i'w yfed ganddynt eu hunain, yn gystal â'u hanifeiliaid, ond i ddwfrhau eu gerddi hefyd. Yr un * gyffelyb arwydd hynod a gawsoch brawf o honi mewn amserau gynt, pan y daeth y rhagddywededig frenin Babilon i ryfela yn ein herbyn, a phan gymmerodd y ddinas, ac y llosgodd y deml; y pryd, mi feddyliaf etto, nad oedd Iuddewon yr oes hono cynddrwg a chwychwi. O herwydd pa ham ni's gallaf amgen na barnu fod Duw wedi ffoi allan o'r cyssegr hwn, ac yn sefyll o du y rhai yr ydych yn ymladd i'w herbyn. Yn awr, fe ffoa dyn, os bydd yn ddyn da, allan o dŷ halogedig ac ammhur, ac a gasha y rhai a fyddont ynddo; ac a berswadiwch chwi eich hunain yr erys Duw gyd â chwi yn eich anwireddau, yr hwn a wel bob dirgelion, ac a glyw yr hyn a gedwir yn fwyaf cuddiedig. Yn awr, pa fai sydd, attolwg i chwi, yr hwn a geisir ei gadw yn guddiedig, neu a orchuddir gennych; Ië, pa fath weithred sydd o'r eiddoch nad yw yn adnabyddus i'ch gelynion? Canys yr ydych yn gwneud dangosiad o'ch troseddiadau mewn dull gorwag; ac yn ymryson y naill â'r llall pa un o honoch a wna fwyaf o ddrygau: ac yr ydych chwi yn amlygu yn gyhoeddus eich anghyfiawnder, megis pe byddai yn rhinwedd. Pa fodd bynnag, y mae etto le i'ch achub chwi, os ewyllysiwch wneud derbyniad o hono: a Duw a gymmodir yn hawdd â'r rhai a gyfaddefo, ac a edifarhao am eu beiau. O, 'r fath drueiniaid llawn o galon-galedwch ydych! Bwriwch ymaith eich holl arfau, a thosturiwch wrth eich gwlad, ag sydd ar ymyl cael ei difetha: dychwelwch o'ch ffyrdd drygionus, a pherchwch ragoriaeth eich dinas yr hon yr ydych yn myned i'w bradychu; ynghyd a'ch teml hynod, a'r rhoddion godidog gan amryw wledydd sydd o'i mewn. Pwy a all oddef i fod yn gyntaf o ddodi'r deml hono ar dân? Pwy a ewyllysiai na fyddai'r pethau hyn ddim yn hwy? A pha bethau a all fod ag a haeddai yn fwy eu harbed? O, greaduriaid annheimladol, a chalettach na'r cerrig eu hunain! Ac os na fedrwch olygu y pethau hyn gyd â llygaid dirnadwy; etto, o'r hyn lleiaf, tosturiwch wrth eich teuluoedd; a gosoded pob un o honoch o flaen ei lygaid eich plant, eich gwragedd, a'ch rhieni, y rhai yn raddol a ddifethir trwy newyn neu ryfel. Yr wyf yn ystyriol o'r modd y bydd i'r niweid hwn gyrraedd hyd at fy mam fy hun, ynghyd â'm gwraig, a'r tylwyth o ba un y tarddais, y rhai nid ydynt mewn un wedd yn anenwog; ac un yn enwedig, yr hwn a fu yn glodfawr mewn amseroedd gynt. Ac ysgatfydd y gellwch dybied mai ar eu cyfrif hwy yn unig yr wyf yn rhoddi i chwi'r cyngor hwn. Os dyna'r cwbl, lleddwch hwynt; ïe, cymmerwch fy ngwaed fy hun yn wobr, os gall ond ennill eich achubiaeth chwi. Canys yr wyf yn barod i farw, os bydd i chwi ond dychwelyd i iawn ystyriaeth ar ol fy ymadawiad."

* Yr hanes o hyn sydd yn awr yn niffyg mewn lle arall.

## PENNOD X.

*Am ymdrechiad llawer o'r bobl i ddiangc at y Rhufeiniaid, y cyfyngderau a ddioddefwyd gan y rhai a safent yn ol trwy newyn, a'r tost ganlyniad o hono.*

FEL yr oedd Josephus yn llefaru yn y modd hwn, gyd â llais uchel, ni fynai'r ymbleidwyr ymostwng i'r hyn a ddywedai; ac ni thybiasant y gallent, gŷd â diogelwch, gyfnewid eu hymddygiad. Ond am y bobl, yr oedd ganddynt ewyllys mawr i gilio at y Rhufeiniaid. Yn ganlynol rhai o honynt a werthasant yr hyn oedd ganddynt, ac hyd yn oed y pethau gwerthfawroccaf a osodent i fynu megis trysor yn eu hymyl, am bris tra isel; a llyngcasant ddarnau o aur, fel na syrthient i ddwylaw'r yspeilwyr Ac wedi iddynt fyned at y Rhufeiniaid, yr ydoedd ganddynt yr hyn oedd ddigon i gynnal eu hunain. Canys Titus a adawodd i nifer mawr o honynt fyned ymaith i'r wlad, ac i'r cwrr o honi a ddewisent. A'r rheswm pennaf paham yr ydoedd llawer mor barod i gilio ymaith ydoedd hyn; y byddai iddynt yn awr gael eu rhyddhau oddi wrth y gofidiau a oddefasent yn y ddinas ac etto na fyddent tan gaethiwed i'r Rhufeiniaid. Pa fodd bynnag Ioan a Simon, ynghyd â'u pleidiau, a fuont yn fwy gofalus i wylio mynediadau y dynion hyn allan, na dyfodiad y Rhufeiniaid i mewn. Ac os dangosai neb yr arwydd lleiaf o'u hamcanau i wneuthur hynny, torrent wythi ei waed yn ebrwydd.

Ond am y rhai cyfoethoccaf, fe brofodd yn dra chyffelyb iddynt hwy pa un a arhosent yn y ddinas, neu a gynhygient fyned allan o honi, oblegid hwy ymhob ffordd a ddifethwyd. Canys pob cyfryw bersonau a roddid i farwolaeth tan esgus eu bod yn myned i encilio; ond y gwirionedd ydoedd fel y byddai i'r yspeilwyr feddiannu yr hyn oedd ganddynt. Gwallgof yr ymbleidwyr a gynnyddodd hefyd ynghyd â'r newyn: a phob un o'r drygau hyn a eynyodd fwyfwy yn feunyddiol. Canys nid oedd dim ŷd yn ymddangos yn gyhoedd yn un lle: ond yr yspeilwyr a ddeuent ac a ruthrent i mewn i chwilio tai dynion neillduedig; ac yna, os caent beth ŷd, hwy a'u harteithient, o herwydd gwadu o honynt na feddent ddim: ac os na chaent ryw fesur yno, hwy a'u poenydient yn waeth, trwy dybied eu bod wedi ei guddio gyd â mwy o ofal nag eraill. Yr arwydd a wnaent ddefnydd o hono i wybod pa un a ydoedd ŷd ganddynt, ai nid oedd, wrth sylwi ar ddrych eu personau: ac os gwelent rai â gwedd dda arnynt, tybient nad oeddynt mewn dim angen o ymborth: ond os byddent yn edrych yn wael ac yn dyddfu gan newyn, hwy a rodient ymaith heb chwilio dim ymhellach: ac ni thybiasant yn gymmwys ladd y fath rai a hyn; am ganfod o honynt y byddent farw o eisiau yn fuan. Llawer ydoedd yn wir a werthasant yr hyn oedd ganddynt am un mesur o ŷd; hwnnw ydoedd o wenith, os byddent o'r rhai cyfoethoccaf; ond o haidd, os yn dlodion. Wedi i'r rhai hyn wneuthur felly, hwy a gauent eu hunain i fynu yn yr ystafelloedd pellaf i mewn o'u tai, ac a fwyttaent yr ŷd a gawsent. Rhai a wnaethant hynny heb ei falu, o achos y radd fawr o'i chwant oedd arnynt: ac eraill a bobasant fara o hono; yn ol ag y byddai eu hangenrheidrwydd a'u hofn yn eu cymmell iddo. Ni osodent fwrdd yn un lle, gogyfer â phryd pendant o fwyd, ond hwy a gippient y bara oddi ar y tân, wedi hanner crasu, ac a'i difethent yn dra buan.

Yr ydoedd eu cyflwr yn awr yn dra thruenus; a'r olwg o hono a allai yn gyfiawn ddwyn dagrau i'n llygaid, wrth olygu amgylchiad y dynion hyn ymerthynas i'w hymborth: pan ydoedd gan y rhai galluoccaf fwy na digon; a'r rhai gwannaf yn wylofain oblegid y diffyg o hono. Ond y newyn oedd rŷ dost i bob teimladau, ac nid yw yn niweidiol i ddim yn fwy na gorchwyledd: canys yr hyn a ganmolid mewn amgylchiad arall a ddirmygid yn hwn: yn gymmaint ag yr oedd y plant yn cippio y tammeidiau a fwytteid gan eu rhïeni allan o'u geneuau; a'r hyn oedd fwy i dosturio o'i herwydd, y mammau a wnaent yr un peth â'u mabanod. A phan fyddai y rhai mwyaf anwyl yn meirw tan eu dwylaw, ni chywilyddient gymmeryd oddiwrthynt y diferion olaf o'r hyn a allai gadw eu bywydau. A phan ymborthent yn y dull hwn, etto ni fyddent guddiedig wrth wneuthur hynny. Ond yr ymbleidwyr ym mhob cwrr a ddeuent ar eu gwarthaf yn ddioed, ac a gippient ymaith oddi wrthynt yr hyn a gawsent gan eraill. Canys pan welent un o'r anneddau yn gauedig, hyn ydoedd ganddynt hwy yn arwydd, fod ymborth wedi ei gael gan y rhai oddi mewn: ar yr hyn y torrent y drysau yn agor, gan ruthro i mewn, a chymmeryd iddynt y darnau a fyddent yn ei fwytta, gan ei dynnu trwy drais ynghylch allan o'u gyddfau. Yr hen wŷr ag a gadwent yn dynn eu hymborth yn eu dwylaw a ddyrnodid: ac os cuddiai y gwragedd yr hyn a fyddai ganddynt, eu gwallt a rwygid oddi ar eu pennau am wneuthur felly. Ac ni ddangosid dim tosturi at y rhai mewn henaint, na phlant bychain; ond hwy a godent i fynu blant oddi ar y llawr, wedi gorwedd ar yr ychydig dammeidiau a gawsent, yr hyn a ysgydwent ymaith oddi wrthynt. Ond etto hwy a arferasant fwy o greulondeb at y rhai a'u rhwystrent i mewn, ac a fyddent wedi treulio'r hyn a fwriadasent hwy ei gymmeryd oddi arnynt, fe pe buasent wedi eu twyllo o'u hawl yn anghyfiawn. Hwy hefyd a ddyfeisiasant ffyrdd arswydus o boenydiau, er datguddio pa le'r ydoedd peth lluniaeth i'w gael: ac fe orfyddai i ddyn ddioddef, ië'r hyn oedd ddychrynllyd ei wrando, mewn trefn i wneud iddo gyfaddef nad oedd ganddo ond un dorth o fara; neu fel y dangosai pa le yr oedd mynaid o flawd haidd yn guddiedig. A hyn a wnaed y pryd na byddai y poenydwyr eu hunain yn newynllyd: canys fe fuasai llai o greulondeb yn hynny pe gyrrasai angen hwynt i'w ofyn. Ond hyn a wnaethpwyd i gadw eu cynddeiriogrwydd ar waith; ac i wneud parottoad o luniaeth iddynt eu hunain y dyddiau canlyn-

ol. Y dynion yma hefyd a gyfarfyddent â'r rhai a ymlusgent allan o'r ddinas yn y nos, cyn belled a sefyllfa y gwylwyr Rhufeinaidd, i gasglu planhigion a llysiau a dyfai yn wylltion: a phan dybiai'r bobl hynny eu bod allan o gyrraedd eu gelynion, yr yspeilwyr a gippient oddi arnynt yr hyn a ddygasent gyd â hwynt; ïe wedi mynych ymbil â hwynt, a hynny trwy alw ar ofnadwy enw Duw ar roddi o honynt yn ol ryw gyfran o'r hyn a ddygasent; er na chaniattaent hwynt iddynt y mesur lleiaf o'r hyn a gasglent trwy eu llafur â'u perygl eu hunain. A hwy a wnaed i foddloni am na ddarfu yn unig ond eu hyspeilio, ac nid eu lladd hefyd ar yr un amser.

Y cyfryw ydoedd y blinderau a ddioddefodd y graddau isaf y bobl gan warcheidwaid y gorthrymwyr hyn. Ond y gwŷr o raddau uchel a chyfoethog, hwy a ddygid o flaen y teyrn-ormeswyr eu hunain. Rhai o honynt a gam-gyhuddid o fod yn euog o lunio bradwriaethau, ac felly a ddifethid. Eraill a haerid yn eu herbyn fod ganddynt fwriadau i fradychu'r ddinas i'r Rhufeiniaid: ond y ffordd barottaf oedd ganddynt o'r cwbl, ydoedd i osod i fyny ryw gaudyst, i gadarnhau eu bod yn penderfynu cilio at y gelyn. A'r neb a lwyr ddifeddianid o'r hyn oedd ganddo trwy Simon, a ddanfonid yn ol drachefn at Ioan: megis am y rhai a yspeilid gan Ioan, Simon a ga'i yr hyn a fyddai yn weddill. Yn gymmaint a'u bod yn yfed o waed y werin y naill at y llall, ac yn rhannu cyrph y trueiniaid hynny rhyngddynt. Felly er darfod iddynt, ar gyfrif eu hawyddfryd i arglwyddiaethu ymryson o'r blaen â'u gilydd; etto'r oeddynt yn cyttuno yn dda yn eu drwg arferion. Canys yr un nad amlygai yr hyn a gawsai trwy yspail i'r gorthrymwr arall, a ymddangosai yn rhy ddieuog, mewn un ystyr yn unig. A'r hwn na chyfranogai o'r hyn a amlygid yn ei gylch felly iddo, a ofidiodd, megis am golled o beth o werth: ac am na buasai ganddo ran yn y creulondeb barbaraidd hwnnw.

Ammhosibl ydyw, yn wir, myned tros bob rhai yn wahanol o ddrwg-weithredodd y dynion anwireddus hyn. Bydd i mi gan hynny ddywedyd yn fyr fy meddwl; na ddioddefodd un ddinas arall erioed y fath drallodion; ac ni feithrinodd un oes genedl mor ffrwythlon mewn drygioni a'r genedl hon er dechreuad y byd. Yn ddiweddaf, hwy a ddygasant y bobl o Hebreaid tan ddirmyg mawr; fel y byddai iddynt eu hunain, mewn cydmariaeth, ymddangos yn llai annuwiol yngolwg dieithriaid. Hwy a addefasant yr hyn oedd wir; mai hwynt-hwy eu hunain oedd gaeth-weision, yscum, a hiliogaeth fastardaidd ein cenedl ni: pan y dadymchwelasant y ddinas eu hunain, ac y gwnaethant i'r Rhufeiniaid, pa un bynnag a fynent neu beidio, i ynnill clod alárus trwy weithredu yn fawrygus i'w herbyn: ac a fuont agos i ddwyn y tân hwnnw ar y deml, yr hyn a ymddangosodd iddynt ddyfod o hono yn rhy araf. Ac yn wir pan welsant y deml honno yn llosgi, o'r ddinas uchaf, nid oeddynt nac yn tristâu o'i herwydd, nac yn tywallt un deigr ar y cyfrif hwnnw. Tra etto yr oedd y tymherau hyn yn amlwg yn cael lle yn y Rhufeiniaid eu hunain. Pa rywam gylchiad a fydd i mi lefaru am dano ar ol hyn yn ei briodol le.

## PENNOD XI.

*Llawer o'r Iuddewon yn cael eu croeshoelio o flaen muriau y ddinas. Ymherthynas i Antiochus Epiphanes; a dinystr y gwrth-gloddiau a gyfodasid gan y Rhufeiniaid.*

BRYNIAU rhyfel, neu wrth-gloddiau a gyfodasai Titus o flaen mur y ddinas, i osod ei offerynau arnynt, a ddyrchafasid bellach i raddau uchel, er y blinder a gafodd y milwyr gyd â'r gwaith hwnnw oddiwrth y rhai a saethai attynt oddiar y mur. Yna efe a ddanfonodd blaid o wŷr meirch, gyd â gorchymmyn iddynt osod cynllwyn i'r rhai a aent allan i'r dyffrynoedd i gasglu lluniaeth. Rhai o honynt yr wir ydoedd ymladdwyr, y rhai ni foddlonent ar yr hyn a gawsant trwy yspail. Ond y rhan fwyaf o honynt oedd bobl dlodion, y rhai a attalid rhag diangc ymaith yn ddirgel o'r ddinas, o blegid y gofal oedd arnynt dros eu perthynasau. Canys ni allent obeithio diangc yngbyd â'u gwragedd a'u plant, heb ei ddyfod i wybodaeth yr ymbleidwyr. Ac ni fedrent oddef y meddwl o adael y perthynasau hynny i'w lladd gan yr yspeilwyr ar eu cyfrif hwynt. Ië, grym y newyn a wnaeth iddynt fod yn hyf i fyned allan i gasglu lluniaeth. Felly nid oedd dim i'w wneuthur ond, pan fyddent guddiedig oddiwrth yr yspeilwyr, cael o honynt eu cymmeryd gan y gelyn. A

phan fyddid yn myned i'w cymmeryd yr oeddynt yn gorfod amddiffyn eu hunain, rhag ofn cospedigaeth: ac wedi iddynt ymladd, yr oeddynt yn ei farnu yn rhy ddiweddar i wneuthur dim erfyniad am drugaredd. Felly hwy a fflangellid yn gyntaf, ac yna a boenydid â phob math o arteithiau cyn eu marw; ac ar ol hynny hwy a * groeshoelid o flaen mur y ddinas. Y gwaith truenus hwn arnynt a wnaeth i Titus resynu yn fawr o'u plegid: pan y dèlid yn feunyddiol bum cant o Iuddewon; ïe, rhai diwrnodiau ychwaneg. Etto ni ymddangosai yn ddi berygl iddo ef i adael i'r rhai a gymmerid yn wrthwynebwyr iddynt i fyned ymaith: ac i osod gwarcheidwaid ar gynnifer a barai i'r rhai hynny fod yn ddiddefnydd iddo ef. Y rheswm pa ham na waharddodd y creulondeb hwnnw ydoedd, ei fod yn disgwyl i'r Iuddewon, ysgatfydd, ymostwng wrth yr olwg honno; oddiar ofn rhag iddynt hwythau yn ganlynol fod yn ddarostyngedig i'r un driniaeth greulon. Felly y milwyr, ar gyfrif y llid a'r casineb oedd ganddynt tu ag at yr Iuddewon, a hoeliasant gynnifer ag a ddalient, rai un ffordd, ac eraill ffordd arall ar y croesau, mewn ffordd o wawd neu gellwair. Pan ydoedd eu rhifedi mor fawr a bod eisiau lle i'r croesau; a chroes-brennau hefyd yn eisiau i'r cyrph.

Ond mor bell oedd yr ymbleidwyr oddiwrth edifarhau, ar yr olwg hon, fel, yn y gwrthwyneb, y gwnaethant eraill o'r lliaws i gredu yn amgen. Canys hwy a ddygasant berthynas y rhai a giliasant o'r ddinas ar y mur, gyd ag eraill o'r werin ag oedd awyddus i fyned trosodd at y Rhufeiniaid, ar y sicrwydd o ddiogelwch a gynhygient; ac a ddangosasant y fath drueni ydoedd y rhai hynny ynddo a ddiangasai attynt: gan ddywedyd wrthynt, mai y rhai a ddèlid oedd yn ymbilwyr, ac nid y rhai a gymmerid yn garcharorion. Yr olwg yma a gadwodd lawer o fewn y ddinas, ag oedd awyddus i encilio nes gwybod y gwirionedd. Etto rhai o honynt a redasant ymaith yn uniongyrch, megis i gospedigaeth sicr: gan gyfrif marwolaeth trwy eu gelynion yn fath o ymadawiad esmwyth, pan gydmarid â'r un hwnnw o newyn. Felly Titus a orchymmynodd fod i ddwylaw amryw o'r rhai a ddelid gael eu torri ymaith, fel na thybid mai encilwyr oeddynt; ac y credid yr amgylchiad truenus yr oeddynt tano; ac efe a'u danfonodd hwy ymaith at Ioan a Simon: yngbyd â'r cyngor hwn, ar "Fod iddynt yn awr, wedi hir barhad, adael heibio eu gwallgofrwydd a pheidio gwneud iddo ef ddifetha'r ddinas: trwy'r hyn y caent y fantais yma o'u hedifeirwch yn eu cyfyngder, sef achubiaeth eu bywydau eu hunain, eu dinas hawddgar, a'u teml, pa un oedd eu gogoniant pennaf." Yna fe aeth o amgylch y bryncynnau a godasid, gan eu prysuro ym mlaen; mewn trefn i ddangos, y byddai i'w eiriau gael eu dilyn cyn hir amser, â gweithredoedd. Yn attebiad i hyn yr ymbleidwyr a fwriasent wradwyddiadau ar Cæsar ei hun, ac ar ei dad hefyd: ac a waeddasant allan â llais uchel, "Eu bod yn dirmygu marw, a gwneuthur o honynt yn dda wrth ddewis yn lle caethiwed: y gwnaent bob drwg ag a allent i'r Rhufeiniaid, tra byddai anadl ynddynt. Ac am eu dinas, gan eu bod hwy, fel y dywedodd, i gael eu difetha, nid oeddynt yn gofalu dim o'i phlegid; a bod y byd ei hun yn well teml i Dduw na'r un honno yn Jerusalem. Ac etto'r achubid y deml honno gan yr hwn oedd yn ei chyfanneddu, a'r hwn oedd ganddynt hwy fyth yn gynnorthwy iddynt yn y rhyfel hwn; ac y chwarddent gan hynny am ben yr holl fygythion oddi wrth eu gelynion, y rhai a ddeuant i ddim: am fod diwedd y cwbl yn ymddibynu ar Dduw yn unig." Y geiriau hyn a gymmysgid â gwawd-iaith; a chyd â hwynt gwnaethant gythrwfl mawr.

Yn y cyfamser Antiochus † Epiphanes a ddaeth i'r ddinas, a chanddo gyd ag ef nifer helaeth o wŷr arfog eraill, a llu o'r Macedoniaid o'i amgylch, i gyd yn rymmus ac o'r un oedran, wedi tyfu i wrolder; yn arfogion, ac wedi eu haddysgu i ryfel yn ol dull y Macedoniaid, oddi wrth ba rai y cymmerent eu henw. Etto'r oedd llawer o honynt yn annheilwng o enw y

* Y mae Reland, gyd ag addasrwydd mawr yn sylwi yma, mor gyfiawn y daeth y farn hon ar yr Iuddewon, pan y croeshoelid y fath liaws ynghyd o honynt, a bod eisiau lle ar y Rhufeiniaid i'r croesau, a chroesbrennau i gyrph yr Iuddewon hynny: gan iddynt ddwyn y farnedigaeth hon arnynt eu hunain trwy groeshoeliad eu Messia.

† Hegesippus, talfyrwr hynafiaethol Josephus, a hyspysa i ni, Llyfr V., am yr Antiochus Epiphanes diweddaraf hwn, mai mab Antiochus, brenin Commagene ydoedd. Efe a grybwyllasid o'r blaen, II. 18, megis yn dwyn lluoedd brenhinol gyd ag ef yn gynnorthwy i Vespasian, yn erbyn yr Iuddewon. Yr un enwau a barhaodd yn y teulu hwnnw trwy hir amser ar ol yr Antiochus Epiphanes cyntaf. Hynaf. XIX. 3 a'r 9.

fath genedl glodfawr. Canys fe ddigwyddasai i frenin Commagene flodeuo yn fwy na nemmor un o frenhinoedd eraill tan y Rhufeiniaid, nes i gyfnewid ddigwydd yn ei amgylchiad: a phan ydoedd yn hen ŵr fe dystiodd yn eglur, na ddylem alw neb yn ddedwydd cyn en marw. Ond y mab yma iddo ef, yr hwn y pryd hynny a ddaethai i Jerusalem cyn clafychu o'i dad; a ddywedodd na fedrai lai na rhyfeddu, pa beth a wnai i'r Rhufeiniaid fod mor hwyrfrydig i ymosod ar y mur. Yn awr yr ydoedd efe yn wr o ryfel, ac wrth natur yn meddiannu hyfdra i wynebu ar beryglon. Yr ydoedd hefyd yn un o'r fath gryfdwr, a bod ei hyfdra yn peri na fethai ond yn anaml o lwyddo. Ar hyn Titus a wenodd, gan ddywedyd y byddai gyfrannog o ymosodiad ar y lle gyd ag ef. Pa fodd bynnag Antiochus a aeth yn mlaen fel ag yr ydoedd y pryd hwnnw: a chyd â'i Facedoniaid a wnaeth ymosodiad disymmwth ar y mur. Ac yn wir, o'i ran ei hun, ei rymmusder a'i fedrusrwydd ydoedd mor fawr, ag yr amddiffynodd ei hun rhag saethau yr Iuddewon; ac etto a saethai biccellau ei hun attynt hwy: tra etto y dynion ieuaingc ag oedd gyd âg ef a glwyfwyd ynghylch i gyd yn dra thost. Canys yr oedd ganddynt y fath olwg ar yr addewidion a wnaethid o'u gwrolder, fel y mynnent barhau yn yr ymladdfa; ac o'r diwedd amryw o honynt a giliasant ymaith, ond nid cyn eu harcholli. Ac yna y canfuant yr angenrheidrwydd i wir Facedoniaid i fod yn fuddugoliaethwyr, wrth ffortun dda Alexander hefyd.

Yn awr fel yr oedd y Rhufeiniaid yn dechrau codi eu bryncynnau, ar y deuddegfed dydd o'r mis Artemisius, neu Jyar; * felly cawsant ymdrech mawr i'w gorphen erbyn y nawfed ar hugain o'r un mis, wedi llafurio yn galed tros ddau ar bymtheg o ddyddiau yn ddibaid. Canys yr ydoedd yn awr bedwar o fryniau mawrion wedi eu cyfodi; un o ba rai oedd wrth dŵr Antonia. Hwn a gyfodwyd gan y pummed lleng, gyferbyn â'r llyn a elwir Struthius. Un arall a fwriwyd i fynu gan y deuddegfed lleng, yn y pelldra o gylch ugain cufydd oddi wrth y llall. Ond llafur y degfed lleng, yr hwn a orweddai mewn pellder oddi wrth y rhai hyn, ydoedd ar du'r gogledd, ac wrth y llyn Amygdalon: megis yr oedd yr un hynny o eiddo y bymthegfed lleng, ynghylch deg ar hugain o gufyddau oddi wrth y diweddaf, ac yn ymyl côf-golofn yr archoffeiriad. Ac yn awr pan ddygwyd yno y peiriannau, Ioan ydoedd oddi mewn wedi cloddio tan y ddaear lêd y lle ag oedd rhyngddynt â thŵr Antonia, cyn belled â'r bryniau eu hunain; gan osod tylathau yn groes i'w gilydd i gynnal y ddaear uwch ben y lleoedd a dorrasid, trwy'r hyn yr oedd gweithiau y Rhufeiniaid yn sefyll ar sylfaen ansicr. Yna y gorchymynodd i'r fath ddefnyddiau gael eu dwyn i mewn ag a fyddai wedi gorchuddio trostynt â phŷg, ynghyd â chlai llosgadwy arall, ac a osododd dân wrthynt. Ac fel yr oedd y croes-dylathau a gynhaliodd y bryncynnau yn llosgi, y geulan a syrthiodd yn ddisymmwth, a'r bryncyn a ysgydwyd i lawr, ac a syrthiodd i'r gorffos, gyd â sŵn ofnadwy. Yn awr, oddi wrth gwymp y bryncyn cyntaf cyfododd mŵg dudew a llwch, fel y diffoddodd y tân gyd â'i syrthiad i lawr arno. Ond fel yr oedd y defnyddiau myglyd yn cael eu difa yn raddol, fflam oleu a dorrodd allan drachefn. Ar ba ryw ymddangosiad disymmwth o'r fflam, dychryn a syrthiodd ar y Rhufeiniaid; a chywreinrwydd eu dyfais a'u digalonogodd hwynt. Ac yn wir trwy ddyfod y ddamwain hon arnynt mewn amser ag y tybiasant fod wedi cyrraedd eu nôd, a lwfrhaodd eu gobaith tros yr amser i ddyfod. Meddyliasant hefyd nad ydoedd i ddim pwrpas i gymmeryd y boen o ddiffodd y tân; gan fod, er diffodd o hono, y bryniau eisoes wedi eu llyngcu i fynu, a myned yn ddiddefnydd.

Ym mhen y ddeuddydd ar ol hyn, Simon a'i blaid a geisiasant ddifetha y bryncynnau eraill; canys y Rhufeiniaid eisoes a ddygasent eu peiriannau yno, ac a ddechreuasant wneuthur i'r mur grynu. Ac yma un Tephtheus, o Garis, dinas yn Galilea, a Megassarus, yr hwn a darddasai oddiwrth un o wasanaethyddion Mariamne, a chyd â hwynt un o Adiabene, (yr hwn oedd fab Nabateus, ac a elwid wrth yr enw Chagiras, oddiwrth yr anffortun a gafodd; a'r gair yn arwyddo gwr clôff:) a gippiasant ffaglau, ac a redasant yn ddisymmwth ar y peiriannau. Ac ni bu, yn oed y rhyfel hwn, neb dynion a ruthrasant allan o'r ddinas yn rhagori arnynt hwy, yn gystal o ran eu hyfdra, a'r dych-

* E. A. 70.

ryn a barasant i'w gelynion. Canys hwy a ruthrent allan ar warthaf y Rhufeiniaid, nid megis pe byddent elynion, ond cyfeillion, heb ofn na gocheliad. Ac ni ymadawent â'u gelynion nes rhuthro ym mlaen trwy eu canol, a gosod eu hofferynnau ar dân. Ac er taflu piccellau attynt o bob ochr, ac ymosod arnynt ar bob tu gan eu gelynion â chleddyfau, etto ni wnaed iddynt ysgoi rhag y peryglon yr oeddynt ynddo, nes y cydiai'r tân afael yn y peiriannau. Ond pan ddyrchafai'r fflam i fynu oddiwrthynt, y Rhufeiniaid a ddeuent ar eu rhedfa o'u gwersylloedd i achub eu peiriannau. Yna yr Iuddewon a'u rhwystrent i'w hamddiffyn oddiar y muriau, ac a ymladdasant â'r rhai a ymdrechent i ddiffodd y tân, heb ofalu dim ynmherthynas i'r perygl yr oedd eu cyrph ynddo. Felly y Rhufeiniaid a dynnent y peiriannau allan o'r tân, tra'r oedd y clwydi a'u gorchuddiai hwynt yn llosgi. Ond yr Iuddewon a gydient afael yn y peiriannau dyrnodiol trwy'r fflam ei hun, ac a'u dalient yn dynn, er bod yr haiarn a wisgasid trostynt eisoes yn chwilboeth. Ac yn awr y tân a ymdaenodd ei hun oddiwrth y peiriannau at y bryncynnau; ac a fu drech na'r rhai a ddaethant i'w hamddiffyn: a thrwy gydol yr amser hwn y Rhufeiniaid a amgylchwyd â'r fflammau tân: a chan anobeithio achub eu gweithiau rhagddo, hwy a giliasant ymaith i'w gwersyllfa. Yna y chwanegodd yr Iuddewon fyth yn fwy lliosog, trwy ddyfod y rhai oedd yn y ddinas i'w cynnorthwyo hwynt. Ac fel yr oeddynt wedi ymhyfhau oddiar y diweddar lwyddiant a gawsent, eu hymosodiadau canlynol oeddynt yn anwrthwynebol. Ië, hwy a aethant ym mlaen mor bell ag amddiffynfeydd gwersyll y gelynion, ac a ymladdasant â'u gwarcheidwaid. Yn awr, yr oedd corph o filwyr yn sefyll mewn trefn reolaidd o flaen y gwersyll hwnnw, y rhai a ymsefydlent yno yn eu tro y naill ar ol y llall mewn cyflawn arfogaeth: ac ymherthynas i'r rhai hynny yr oedd cyfraith y Rhufeiniaid yn dra llym; gan bennodi fod i'r sawl a adawent eu sefyllfa yno, bydded eu hachosion y peth a fyddo, i farw o'i herwydd. Felly y corph hynny o filwyr yn dewis yn hytrach farw wrth ymladd yn wrol, nag mewn ffordd o gospedigaeth, hwy a safasant eu tir. A thrwy yr angenrheidrwydd oedd ar y dynion hyn i ddala atti, llawer eraill o'r rhai a ffoisent ymaith, a ddychwelasant gan gywilydd yn ol drachefn. Ac wedi gosod y peiriannau yn erbyn y mur, cadwasant y lliaws rhag dyfod yn ychwaneg allan o'r ddinas, yr hyn a allent yn haws ei wneuthur, o herwydd na wnaethent barottöad tu ag at amddiffyn eu cyrph yr amser hwn. Canys yr Iuddewon yn awr a ymladdent law-law â phawb a ddeuai yn eu ffordd: ac heb un math o ocheliad syrthiasant ynghyd â blaenion gwaywffyn eu gelynion; gan eu gwrthwynebu â chyrph yn erbyn cyrph. Canys yr oeddynt yn awr yn drech na'r Rhufeiniaid; nid cymmaint o ran eu gweithrediadau rhyfelgar eraill, ag o herwydd yr ymosodiadau calonog a wnaethant arnynt. A'r Rhufeiniaid a gilient yn ol yn fwy oblegid eu cynddeiriogrwydd, nag a wnaent trwy deimlad o'r niweid a dderbynient oddi wrthynt.

Yn awr Titus a ddychwelasai o dŵr Antonia, i ba fan yr aethai i edrych am le i godi bryncynau eraill; ac a feïodd y milwyr yn fawr am adael eu muriau eu hunain tan berygl, wedi goresgyn muriau eu gelynion; a goddef o honynt ffortun rhai wedi gwarchae arnynt, trwy adael i'r Iuddewon ruthro allan i'w herbyn, er eu bod eisoes mewn math o garchar. Yna'r aeth o amgylch ogylch i'r gelyn gyd â rhai lluoedd dewisedig, ac a syrthiodd ar ystlysau eu byddinoedd ei hun. Felly'r Iuddewon, y rhai o'r blaen a ymosodid arnynt yn eu hwynebau, a droesant o amgylch at Titus, gan barhau i ymladd. Y byddinoedd hefyd oeddynt yn awr wedi eu cymmysgu y naill ym mhlith y llall: a'r llwch a gyfododd ydoedd mor bell yn rhwystr iddynt i ganfod eu gilydd; a'r sŵn neu'r trwst a wnaed yn rhwystro iddynt glywed yr hyn a ddywedid wrthynt, fel na adnabyddai un ochr eu gelynion oddiwrth eu cyfeillion. Pa fodd bynnag ni phallodd yr Iuddewon, er nad cymmaint oblegid eu gwir-gadernid, â'u hanobaith o ymwared. Ni fynnai y Rhufeiniaid hefyd roddi i fynu, oblegid y golwg oedd ganddynt ar glod ac anrhydedd oddiwrth ryfel; ac o herwydd fod Cæsar yn anturio i'r perygl gyd â hwynt. Yn gymmaint ag na's gallaf amgen na barnu y buasai y Rhufeiniaid yn y diwedd gymmeryd holl liaws yr Iuddewon, gan mor dra digllon oeddynt wrthynt, pe na buasai

i'r rhai hyn ragflaenu diweddiad y frwydr, trwy gilio yn ol i'r ddinas. Pa fodd bynnag, wrth weled eu gweithiau wedi eu dadymchwel, fe lwfrhaodd y Rhufeiniaid yn fawr ar y golled o'r hyn a barasai gymmaint o lafur a chost iddynt; a hynny mewn un awr o amser. A llawer yn wir a anobeithiasant gymmeryd y ddinas, â'u harferedig offerynau rhyfel.

## PENNOD XII.

*Titus yn peri amgylchu'r ddinas â mur; yn ol pa weithred y mae'r newyn yn difetha'r bobl wrth y teuluoedd cyfain.*

YN awr fe ddarfu i Titus gydymgynghori â'i flaenoriaid yngbylch yr hyn ag oeddynt ymhellach i'w wneuthur. Y rhai ag oedd o dymherau mwyaf gwresog a dybiasant y dylai ddwyn yr holl fyddin yn erbyn y ddinas, a gwneud rhuthr ar y mur: oblegid hyd yn hyn na ddygasid ond rhan o'r fyddin i ymladd â'r Iuddewon: ond pe deuai yr holl fyddin i'w gwrthwynebu ar unwaith, na fyddent yn alluog i oddef yr ymosodiad, ond hwy a lethid gan amlder eu saethau. Ond y rhai ydoedd o du rhyw drefn fwy gochelgar, rhai oeddynt am godi'r bryncynnau drachefn: ac eraill a gyngborent adael y bryniau o'r neilldu, ond i sefyll yn llonydd o flaen y ddinas, i wylied yn erbyn dyfodiad yr Iuddewon allan, ac yn erbyn eu gwaith o gludo ymborth gyd â hwynt i mewn, ac felly i adael y glyn i newynu; a hynny heb ymladd yn uniongyrch i'w herbyn. O herwydd nad oedd anobaith ddim i fuddugoliaethu arno; yn enwedig mewn perthynas i rai a chwenychent farw trwy'r cleddyf; pan y mae trueni mwy erchyll yn cael ei gadw iddynt. Pa fodd bynnag, ni farnodd Titus yn gymmwys i fyddin mor fawr aros yn hollol segur; ac etto mai ofer ydoedd ymladd â rhai a fynnent eu difetha y naill gan y llall. Efe hefyd a ddangosodd mor anhawdd ydoedd cyfodi mwy o fryncynnau, o ddiffyg defnyddiau attynt; a bod gwliadwriaeth ar ddyfodiad yr Iuddewon allan yn anhaws ei gwblhau. Megis hefyd nad hawdd ydoedd amgylchu'r holl ddinas o'i chwmpas â'r fyddin oblegid ei maintioli; ac anghyfleustra sefyllfaoedd: a'i fod ar gyfrifon eraill yn beryglus, o herwydd y rhuthrau a allai'r Iuddewon ei wneuthur arnynt. Canys er y gallent hwy warchad y tramwyfeydd adnabyddus allan o'r lle; etto byddai iddynt hwy, pan deimlent eu hunain tan y cyfyngderau mwyaf; ddyfeisio tramwyfeydd dirgel, trwy fod yn adnabyddus o bob cyfryw leoedd. Ac os dygid peth lluniaeth i mewn trwy ffordd ledradaidd, parai hynny estyniad ar y gwarchae. Addefodd hefyd ei fod yn ofni, y byddai i feithder yr amser a dreulid yn y modd hwn dywyllu clodforedd eu llwyddiant. Canys er ei fod yn wir, y byddai i hyd digonol o amser berffeithio pob peth; etto i wneud yr hyn a fyddai i'w wneuthur mewn ychydig amser ydoedd angenrhaid i ynnill anrhydedd. Ei dŷb ef gan hynny ydoedd, os cyfeirient at gyflymdra, yn un â sicrwydd, y byddai raid iddynt wneuthur mur o amgylch yr holl ddinas; yr hyn, fel y meddyliai efe oedd yr unig ffordd i luddias yr Iuddewon rhag dyfod allan yn un modd: ac yna y byddai iddynt un ai hollol anobeithio achub y ddinas, a thrwy hynny y rhoddent hi i fynu iddo ef; neu ynte y gorchfygid hwy fyth yn esmwythach pan fyddai i'r newyn ymhellach eu gwanhau hwynt. Ond os meddylia rhyw un fod y fath waith yn rhy fawr, ac na orphenir mo'no heb lawer o anhawstra; dylai ystyried, nad oedd weddus i'r Rhufeiniaid gymmeryd arnynt waith bychan; ac nad oedd neb ond Duw ei hun a allai gwblhau peth mawr gyd ag esmwythder.

Y rhesymau hyn a lwyddodd gyd â'r blaenoriaid; felly Titus a roddes orchymmyn i'r fyddin gael ei dosparthu at eu hamrywiol rannau o'r gwaith. Ac yn wir fe ddisgynodd yn awr ar y milwyr y fath awyddfryd anwrthwynebol, fel na ddarfu iddynt yn unig gyd â pharodrwydd mwyaf ddosparthu eu rhannau o'r holl fur ag ydoedd i'w wneuthur; ac nid yn unig fe ymrysonodd y naill leng â'r llall; ond y minteioedd lleiaf o'r fyddin a wnaethant yr un peth: fel yr oedd pob milwr yn awyddus i ryngu bodd ei ddengwriad; pob dengwriad ei ganwriad, a phob canwriad ei dribun; ac awydd y tribuniaid ydoedd i foddhau eu huwch-flaenoriaid; tra'r oedd Cæsar ei hun yn sylwi ac yn gwobrwyo y cyffelyb ymryson ym mhlith y blaenoriaid hynny. Canys efe a ai o amgylch ogylch i'r adeiladaeth amryw weithiau yn y dydd; i gymmeryd golwg ar yr hyn a wnelid. Titus a ddechreuodd y mur wrth wersyll yr Assyriaid, lle y gosodasai

ei wersyll ei hun; ac a'i hestynodd i wared hyd barthau isaf Cenepolis. Yna yr amgylchodd ddyffryn Cedron, hyd fynydd yr olewydd. Oddi yno y gogwyddai tu a'r dehau, gan amgylchynu'r mynydd cyn belled a'r graig a elwid Peristeron, a'r mynydd arall a orwedd yn nesaf atto, ag sydd uwchlaw'r dyffryn a gyrraedd hyd at Siloam.

Oddi yno y gogwyddai drachefn tu â'r gorllewin, ac aeth i lawr i ddyffryn y ffynnon: tu hwnt i ba un yr oedd â'i fynediad i fynu drachefn wrth fryn Ananus, yr archoffeiriad; a chan amgylchu'r mynydd ar ba un gynt y gwersyllasai Pompey, fe ddychwelodd yn ol at du gogleddol y ddinas, ac a ddygwyd ym mlaen cyn belled a rhyw faesdref a elwid trigfa Erebinthi. Wedi hyn yr amgylchodd gôf-golofn Herod; ac yno, o du'r dwyrain, yr ydoedd yn cyssylltu â gwersyll Titus, lle y dechreuodd. Yn awr, ei hyd ydoedd bedair ar bymtheg ar hugain o 'stadau. Ac o'r tu allan i'r mur hwn yr oedd tri ar ddeg o fannau i gadw gwersyll ynddynt; amgylchiad pa rai, wedi ei ddodi ynghyd, oedd yn ddeg o 'stadau. Y cwbl a gwblhawyd mewn tri o ddiwrnodiau. Felly yr hyn o naturiaeth oedd yn gofyn rhai misoedd, a orphenwyd yn y fath fyr amser ag oedd yn anghredadwy. Wedi i Titus gan hynny amgylchynu'r ddinas â'r mur hwn; a dodi gwersylloedd yn y cyfryw fannau ag a drefnasid i'r diben hwnnw: fe aeth o amgylch iddo ar y wyliadwriaeth gyntaf o'r nos, i sylwi ar y modd y cedwid gwyliadwriaeth ar y mannau appwyntiedig: yr ail wyliadwriaeth a orchymynodd i * Alexander; a blaenoriaid y llengau a gymmerasant arnynt y trydydd wyliadwriaeth. Bwriasant hefyd goelbrennau yn eu plith eu hunain, pwy a fyddai i wylio yn amser nos; a phwy a elai o amgylch y lleoedd hynny, trwy'r holl nos, ag oedd yn sefyll rhwng y gwersylloedd.

Fel ag yr oedd pob rhyw obaith o ddiangfa yn awr, wedi ei gymmeryd ymaith oddiwrth yr Iuddewon, ynghyd a'u rhyddid i fyned allan o'r ddinas, y newyn a ddechreuodd ymestyn ym mlaen, gan ddifetha'r bobl wrth y teuluoedd cyfain. Ystafelloedd uchaf yr anneddau ydoedd lawn o wragedd a phlant yn marw gan y newyn; a chulion heolydd y ddinas oeddynt yn llawn o gelaneddau y rhai oedranus. Y plant hefyd a'r gwŷr ieuaingc a grwydrent o amgylch y farchnadfa fel cysgodau, i gyd yn chwyddedig gan y newyn, ac yn syrthio i lawr yn feirwon, pa le bynnag y goddiweddai eu trueni hwynt. Ac ymherthynas i'w claddiad, y rhai oedd gleifion ni allent ei gwblhau; a'r rhai iach a attelid i'w wneuthur gan yr amldra mawr o'r cyrph meirwon hynny, a thrwy'r ansicrwydd pa mor fuan y byddent feirw eu hunain. Canys llawer a fuont feirw fel ag yr oeddynt yn claddu eraill; cyn dyfod yr amser prudd hwnnw, mewn tebygoliaeth o amgylch. Ac ni wnaethpwyd dim galar tan yr amgylchiadau trallodus hyn, na dim achwynion galarus i'w clywed. Ond y newyn a ddyrysodd bob teimladau naturiol. Canys y rhai ag ydoedd ym mron marw a edrychent ar y rhai a aethent i orphwys o'u blaen gyd â llygaid sychion, a geneuau agored. Dwfn ddistawrwydd hefyd, a math o dywyllni marwol a oresgynnodd y ddinas: tra etto'r oedd yr yspeilwyr yn fwy blinderus na'r trallodion yma eu hunain. Canys hwy a dorrent yn agored y tai hynny nad oedd amgen na beddau cyrph meirwon, ac a'u hyspeiliasant o'r hyn oedd ganddynt; a chan ddwyn ymaith yr hyn a orchuddiai eu cyrph, a aethant allan dan chwerthin; gan wneud prawf â phigau eu cleddyfau farwolaeth y cyrph a orweddent yno: ac mewn trefn i brofi o ba fetel yr oedd eu gwneuthuriad, brathasant rai o honynt trwodd ag oedd etto yn gorwedd yn fyw ar y llawr. Ond am y rhai a ddeisyfent fenthyg eu deheulaw, a'u cleddyf i'w torri ymaith, ni chaniattaent eu dymuniad iddynt, ond a'u gadawent i'w difa gan y newyn. Pob un o'r rhai hyn a fyddent feirw a'u golwg yn sefydlog ar y deml; ac a adawsant yr ymbleidwyr i fyw ar eu hôl. Yn awr, yr ymbleidwyr hyn a roddasant orchymmyn ar y cyntaf, i'r meirw gael eu claddu ar gost y drysorfa gyffredin, megis eu bod heb allu dioddef sawyr y cyrph: ond wedi hynny, pan na allasant ddyfod i ben â hyn, bwriasant hwynt i lawr tros y muriau i'r dyfnder islaw iddynt.

Pa fodd bynnag, wedi i Titus, yn ei dro heibio i'r lleoedd isel hynny, a'u gweled yn llawn

* Hwn oedd raid ei fod Tiberius Alexander, a grybwyllid gan Tacitus, megis yn awr yn llywodraethwr yr Aipht: cyfaill boreuol i Vespasian; ac un a wnaethai Vespasian yn llywydd ar y fyddin tano ef, fel y mae Josephus mewn lle arall yn hyspysu i ni. Gwel II. 15. IV. 10. V. 1.

o gyrph meirw pydrllyd, efe a ruddfanodd; a chan estyn allan ei ddwylaw tua'r nefoedd, a alwodd Dduw yn dyst, mai nid ei waith ef oedd hyn. A'r cyfryw ydoedd dost gyflwr y ddinas ei hun. Ond yr oedd y Rhufeiniaid yn dra llaweu, y pryd na's gallai'r ymbleidwyr wneud rhuthriadau mwyach allan o'r ddinas; am eu bod eu hunain tan anghyssur, a'r newyn eisoes wedi cyffwrdd â hwynt hefyd. Y Rhufeiniaid, heblaw hynny, oedd ganddynt ddigonedd o ŷd, ac angenrheidiau eraill allan o Syria, a'r taleithiau cymmydogol. Llawer o honynt, gan hynny, a safent yn agos i fur y ddinas, gan ddangos i'r bobl pa fesurau mawrion o ymborth oedd ganddynt; a thrwy hynny gwneuthur i'r gelyn deimlo'r newyn yn fwy, trwy'r llawndra mawr, ie'r gormodedd, oedd ganddynt hwy eu hunain. Titus, oddi ar ei dosturi at y bobl a weddillasid, ac o daer ddymuniad i amddiffyn yr hyn a adawsid etto yn ol o wrthddrychau'r trueni hwn; a ddechreuodd godi ei fryncyunau drachefn; er bod y defnyddiau tu ag attynt yn anhawdd eu cael. Canys yr holl goed o amgylch y ddinas a dorrasid eisoes i lawr, i wneuthur y bryncyunau cyntaf. Etto y milwyr a ddygasant ddefnyddiau o'r pellder o bedwar ugain a deg o 'stadau, ac â'r rhai hynny a godasant y bryniau, mewn pedwar o fannau, o lawer mwy maintioli na'r rhai cyntaf, er na wnaethpwyd hyn ond yn unig wrth dŵr Antonia. Felly Cæsar a gymmerodd dro o amgylch ym mhlith y llengau, ac a brysurodd y gweithiau ym mlaen; gan ddangos i'r ymbleidwyr eu bod yn awr yn ei ddwylaw ef. Ond y dynion hyn, a hwynt hwy yn unig, a feddianid ag anallu i edifarhau oblegid y drygioni yr oeddynt yn euog o hono: a chan wahaniaethu eu heneidiau oddi wrth eu cyrph, hwy a arferent bob un o honynt megis pe perthynent i bersonau eraill, ac nid iddynt eu hunain. Canys ni allai un teimlad a thynerwch ynddo gyffwrdd â'u heneidiau, ac ni allai unrhyw boen effeithio ar eu cyrph: gan y gallent rwygo cyrph meirwon y bobl fel cŵn, a llenwi'r carcharau â rhai ydoedd gleifion.

## PENNOD XIII.

*Am y lladdfeydd mawrion, a'r cyssegr-yspail a fu yn Jerusalem.*

RHAN 16.

YN ganlynol ni adawai Simon i Mathias, trwy'r hwn y cawsai feddiant o'r ddinas, fyned ymaith heb ei boenydio. Y Mathias hwn ydoedd fab Boethus, ac oedd un o'r archoffeiriaid; yr hwn a fuasai yn dra ffyddlon i'r bobl, ac mewn cymmeradwyaeth mawr gyd â hwynt. Efe, pan flinwyd y lliaws gan y brwdfrydwyr, ym mysg pa rai yr oedd Ioan yn gyfrifol, a berswadiodd y bobl i ollwng Simon i mewn i'w cynnorthwyo hwynt; pan na wnaethai yr un ammod ag ef, ac heb ddisgwyl unrhyw beth a fyddai niweidiol oddi wrtho. Ond wedi dyfod Simon i mewn, a chael meddiant o'r ddinas tan ei awdurdod, fe gyfrifodd yr hwn a'u cyngorasant i'w dderbyn megis ei elyn, yn gydradd â'r lleill; gan olygu'r cyngor hwnnw megis prawf o'i wendid yn unig. Felly fe barodd ei ddwyn o'i flaen, ac a'i bwriodd i ddioddef marwolaeth, am ochri gyd â'r Rhufeiniaid, heb ganiattau iddo wneud ei amddiffyniad. Efe hefyd a fwriodd yn euog dri o'i feibion i farw gyd ag ef: ond y pedwerydd a'i rhagflaenodd trwy ddiangc ymaith at Titus. A phan ymbiliodd am iddo ef gael ei ladd o flaen ei feibion, a hynny fel o ffafr, ar gyfrif iddo ddodi pyrth y ddinas yn agored iddo ef; yntau a roes orchymmyn i'w ladd ef yn ddiweddaf oll. Felly ni chafodd ei ladd, nes gweled ei dri mab yn cael eu llofruddio o flaen ei lygaid; a hynny wedi eu dwyn i olwg, a chyferbyn â'r Rhufeiniaid. Canys y cyfryw orchymmyn a roesai i Ananus, fab Bamadus, yr hwn oedd y mwyaf barbaraidd o'i holl warchawdlu. Efe hefyd a'i gwawdiodd, ac a ddywedodd wrtho, y gallai yn awr weled pa un a fyddai i'r rhai ag oedd am ddiangc attynt, ddanfon iddo gymmorth neu beidio. Ond etto fe wahardddodd gladdu eu cyrph meirw hwynt. Ar ol lladdiad y rhai hyn, rhyw offeiriad a elwid Ananias, fab Masambalus, gwr o enwogrwydd; megis hefyd Aristeus, ysgrifenydd y Sanhedrim, yr hwn a anesid yn Emmaus; a chyd â hwynt bymtheg o wŷr cyfrifol ym mysg y bobl, a laddwyd. Hwy hefyd a gadwasent dad Josephus y'ngharchar, ac a wnaethant gyhoeddiad cyffredin, na fyddai i un dinesydd pwy bynnag, lefaru wrtho ei hun, neu fyned i'w gwmp'ni ym mysg eraill, rhag iddo eu bradychu hwynt. A hwy yn-

hellach a laddasant y rhai a unasent yngalarnad y gwŷr hyn, heb ddim mwy o holiad.

Yn awr, wedi i Judas, fab Judas, yr hwn oedd un o is-swyddogion Simon, ac a ymddiriedid iddo am gadwraeth un o'r tŷrau, weled y mynediad yma o'r eiddo ef ym mlaen, fe alwodd ynghyd ddeg o'r rhai oedd tano ef, a'r rhai ffyddlonaf iddo: ac mewn rhan o dosturi tu ag at y rhai mor farbaraidd a roddasid i farwolaeth, ond yn bennaf mewn trefn i'w ddiogelu ei hun, fe lefarodd fel hyn wrthynt: "Pa hyd y goddefwn y trueni yma? Neu pa obaith sydd i ni, wrth barhau fel hyn yn ffyddlon i'r fath lywodraethwyr drygionus? Onid yw'r newyn wedi dyfod eisoes i'n herbyn? Onid yw y Rhufeiniaid mewn ystyr wedi dyfod y tu fewn i'r ddinas? Onid yw Simon wedi myned yn anffyddlon i'w gymmwynaswyr? Ac onid oes reswm i ofni y bydd iddo ein dwyn ninnau i'r cyffelyb gospedigaeth? tra y mae'r sicrwydd a gynhygia y Rhufeiniaid i ni yn ddiogel. Rhoddwn i fynu y mur hwn, ac achubwn ein hunain, a'r ddinas. Ac ni fawrniweidir Simon, os, ag efe yn awr yn anobeithio am waredigaeth, y dygir ef i farn ychydig yn gynt na'i ddisgwyliad." Yn awr, y deng-wr a berswadiwyd â'r rhesymau hyn. Felly fe ddanfonodd weddill y rhai oedd tano ef i wahanol fannau, fel na fyddai anhawsdra i gyflawni yr hyn a fwriadasant. Yn ganlynol fe alwodd y Rhufeiniaid, oddiar y tŵr, ynghylch y drydedd awr. Ond rhai o honynt hwy trwy eu balchder a ddiystyrasant yr hyn a ddywedodd; ac eraill ni chredent ei fod yn ddifrifol; er bod y rhan fwyaf am oedi'r achos, trwy gredu yr ennillent y ddinas mewn ychydig amser, heb redeg yr antur. Ond fel yr oedd Titus ar fin dyfod yno gyd â'i wŷr arfog, Simon a wnaed yn hyspys o'r mater, ac yn y man a gymmerodd feddiant ei hunan o'r tŵr, cyn ei roddi i fynu iddo; ac a ddaliodd y gwŷr hynny, gan eu rhoddi i farwolaeth: ac wedi malurio eu cyrph meirwon, fe'u bwriodd i lawr tros fur y ddinas.

Yn y cyfamser Josephus, fel yr oedd yn myned o amgylch y ddinas, a archollwyd ar ei ben, gan garreg a ergydiwyd atto, ac a syrthiodd i lawr mewn anwybodaeth. Ar ba ryw gwymp o hono ef, yr Iuddewon a wnaethant ruthr, ac efe a ddygasid ymaith i'r ddinas, pe na buasai i Cæsar ddanfon gwŷr i'w amddiffyn yn ebrwydd. Ac fel yr oedd y gwŷr hyn yn ymladd, Josephus a gymmerwyd i fynu, ac a glybu ychydig o'r hyn oedd yn cael ei wneuthur. Felly'r ymbleidwyr a dybiasant ladd o honynt yn awr y dyn hwnnw ag oeddynt yn ewyllysio yn bennaf ei ddifetha; ac ar hynny a wnaethant sŵn mawr mewn ffordd o lawenychu. Y ddamwain hon a fynegwyd yn y ddinas: a'r lliaws ag oedd yn aros yn fyw a bruddhawyd yn fawr â'r newyddion, gan ddarfod eu perswadio ei fod ef yn sicr wedi marw, ar gyfrif pa un yn unig y gallant anturio ffoi at y Rhufeiniaid. Ond ar ol i fam Josephus glywed yn bersonol fod ei mab wedi marw, hi ddywedodd wrth y rhai a wylient o'i hamgylch, iddi hi feddwl, wedi y gwarchaedigaeth ar Jotapata, y lleddid ef; ac na fwynhai mono fyth drachefn yn fyw. Gwnaeth hefyd alar dirgel am dano yngwydd ei llaw-forwynion ag oedd o'i hamgylch; ac a ddywedodd, mai dyna oedd yr holl fantais a gafodd o ddwyn y fath berson hynod a'i mab i'r byd, na fyddai yn alluog o gael claddu y mab hwnnw, pa un a ddisgwyliodd a'i claddai hi ei hun. Pa fodd bynnag, y gau-chwedl hwn ni pharodd hir dristwch i'w fam, na llawenydd hir i'r yspeilwyr: canys Josephus a iachaodd o'i friw yn fuan, ac a ddaeth allan, ac a lefodd yn uchel wrthynt, na fyddai amser hir nes y cospid hwynt am y briw a barasent iddo. Efe hefyd a gynghorodd y bobl o newydd i ddyfod allan ar y sicrwydd a roddid iddynt: wrth yr hyn y cefnogwyd y bobl yn fawr; a dychryn a ddisgynodd ar yr ymbleidwyr.

Ar hyn rhai o'r encilwyr, heb un ffordd arall iddynt i'w chael, a neidiasant i lawr yn uniongyrch oddiar y mor; tra'r aeth eraill allan o'r ddinas â cherrig ganddynt, fel pe buasent am ymladd â hwynt; ond ar hynny hwy a ffoisant ymaith at y Rhufeiniaid. Ond yma digwyddiad gwaeth a ddilynodd y rhai hyn, na'r peth a ddigwyddasai iddynt yn y ddinas; a hwy a gyfarfuasant â marwolaeth cynt oddi wrth y gormodol lawnder a gawsant ym mysg y Rhufeiniaid, nag a ddaethai arnynt trwy'r newyn ym mysg yr Iuddewon. Canys pan y daethant gyntaf at y Rhufeiniaid, yr oeddynt yn wyntog

oddi mewn gan y newyn, ac yn chwyddedig fel rhai a'r dyfr-glwyf arnynt: yn ol hyn, hwynthwy yn fuan a orlenwent y cyrph hynny ag ydoedd o'r blaen yn weigion, ac felly a dorrasant ar eu traws, oddigerth y rhai oedd a chyfrwysdra digonol ganddynt i ffrwyno eu chwant, a chyfranogi o'u lluniaeth yn raddol. Etto cyfarfu pla arall â'r rhai a arbedodd eu hunain y modd hwnnw. Canys yr ydoedd ym mhlith yr encilwyr Syriaidd ryw ddyn, yr hwn a ddaliwyd yn casglu darnau o aur ym mysg tom yr Iuddewon. Canys yr encilwyr a arferent lyngcu y fath ddarnau, fel y soniasom o'r blaen, pan elent allan o'r ddinas: ac am y pethau hyn y chwilid hwy oll gan yr ymbleidwyr: canys yr ydoedd llawndra mawr o aur yn y ddinas: yn gymmaint a bod yr hyn a werthid yn awr yn ngwersyll y Rhufeiniaid am ddeuddeg attic dram, ag a werthid o'r blaen am bump ar hugain. Ond pan wnaethpwyd datguddiad o'r ddyfais hon trwy un arwydd, y sôn am dano a lanwodd yr holl wersylloedd, fod yr encilwyr yn dyfod attynt yn llawn o aur. Felly y lliaws milwyr o Arabiaid a Syriaid, a rwygasant i fynu y rhai a ddeuent attynt yn ymbilwyr, gan chwilio eu hymysgaroedd. Ac ni ymddenys i mi, ddarfod i un trueni orddiwes yr Iuddewon mor erchyll ag ydoedd hwn: yn gymmaint ag mewn un noswaith i gylch dwy fil o'r encilwyr Iuddewaidd hynny gael eu hagoryd.

Pan ddaeth i wybyddiaeth Titus y weithred greulon-ddrwg hon, bu yn debyg o amgylchu y rhai oedd yn euog o hynny â'i wŷr meirch, a'u rhoddi oll i farwolaeth: ac efe a wnaethai hynny, pe na buasai eu nifer mor fawr; a bod y rhai oedd ddarostyngedig i'r gosp hon yn llawer mwy o amldra na'r rhai a laddasent. Pa fodd bynnag fe alwodd ynghyd flaenoriaid y lluoedd cynnorthwyedig, oedd ganddo gyd ag ef, yn gystal a blaenorwyr y llengau Rhufeinig; (canys rhai o'i filwyr ei hun a fuasant euog hefyd yn hyn, fel yr hyspysasid iddo:) ac yr ydoedd yn dra digllon wrth bob rhai o honynt, ac a ddywedodd, "Beth! A wnaeth rhai o'm milwyr fy hun y cyfryw beth a hyn, oddi ar obaith ansicr o elw; heb ystyried eu harfau eu hunain, y rhai a wnaed o arian ac aur? Ymhellach, a ydyw'r Arabiaid a'r Syriaid yn awr gyntaf oll yn llywodraethu eu hunain fel y mynnont, ac yn boddhau eu chwantau eu hunain mewn rhyfel dieithrol? ac yna oddi ar eu creulondeb yn llofruddio dynion, ac oddiwrth eu casineb i'r Iuddewon, yn cyfrif hynny ar y Rhufeiniaid." Canys yr ymarferiad cywylyddus hwn a ddywedid iddo ymdaenu ym mhlith rhai o'i filwyr ei hun hefyd. Titus gan hynny a fygythiodd, y rhoddai y cyfryw ddynion i farwolaeth, os datguddid fod neb o honynt mor drahaus a gwneuthur felly drachefn. Rhoddodd hefyd orchymmyn caeth ar leng o'i filwyr i wneud ymofyniad am rai a ddrwg-dybid, a'u dwyn hwynt atto ef. Ond fe ymddangosodd fod chwant i arian yn rhy drech i'w holl ofnau o gospedigaeth: a dymuniad tanbaid am elw sydd dra naturiol i ddynion: ac nid oes unrhyw awyd mor gymhellgar i wneud anghyfiawnder a chybydd-dra: am fod i nwydau eraill eu terfynau, ac ydynt ddarostyngedig i ofn.

Ond am Ioan, pan na allai yn hwy yspeilio'r bobl, fe ymroddodd ei hun i arfer cyssegr-ladrad; a thoddodd yr holl lestri cyssegredig, a wnaethid yn anrhegion i'r deml; a llawer o'r rhai ag oedd angheurhaid am danynt i'r sawl a weinyddai mewn dyledswyddau sanctaidd: megis peiriau, dysglau, a byrddau. Ië, ni ymarbedodd oddiwrth y llestri tywalltol hynny a anrhegwyd gan Augustus a'i wraig. Canys yr ymerawdwyr Rhufeinig oeddynt bob amser yn anrhydeddu ac yn addurno'r deml hon: pan y darfu i'r dyn hwn ag ydoedd Iuddew oresgyn y pethau ag oedd anrhegion oddiwrth ddieithriaid; gan ddywedyd wrth y rhai oedd gyd ag ef, fod yn iawn iddynt hwy wneuthur defnydd o bethau cyssegredig tra'r oeddynt yn ymladd tros y cyssegr yn ddiofn: a bod y cyfryw ag oedd a'u hymdrech tros y deml, i fyw wrth y deml. Ar ba gyfrif fe dywalltodd o'r llestri y gwin a'r olew cyssegredig hwnnw, a gedwid gan yr offeiriaid i'w tywallt ar y poeth-offrymmau, yngghyntedd * tu-fewnol y deml, ac a'u rhannodd rhwng y lliaws; y rhai wrth enneinio eu hunain, ac yfed, a dreuliasant bob un tros fesur hin o honynt. Ac yma ni fedraf lai na dywedyd fy meddwl, a'r hyn y mae'r tristwch yr wyf tano yn fy nghymmell iddo. Meddyliaf pe buasai y Rhufeiniaid yn oedi yn hwy i ddyfod yn erbyn y dihirwyr hyn, y buasai'r ddinas un ai yn cael

* Cyntedd yr Offeiriaid.

ei llyngcu i fynu gan y ddaear yn agoryd tanynt, neu i lifeiriant o ddwfr ddyfod trosti; neu ynte y difethasid hi gan y fath daranau ag y difethwyd gwlad * Sodom trwyddynt. Canys dygasai i'r amlwg y fath genedl o ddynion ag ydoedd lawer mwy di-Dduw neu atheistiaidd, nag oedd y rhai a ddioddefasant y fath gospedigaethau o'u blaen. Canys trwy eu gwallgofrwydd hwynt y bu i'r holl bobl gael eu difetha.

Ac yn wir paham yr wyf yn adrodd am yr holl drallodion neullduol hyn? pan y darfu i Manneus, fab Lazarus, ddyfod ar ei redfa at Titus, yn yr amser pennodol hwn; gan fynegi iddo, ddarfod dwyn allan trwy'r un porth hwnnw a ymddiriedasid i'w ofal ef, ddim llai na chant a phymtheg o filoedd, gyd ag wyth gant a phedwar ugain o gyrph meirw, yn yr yspaid o amser rhwng y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis Xanthicus, neu Nisan, pan y gwersyllodd y Rhufeiniaid wrth y ddinas, ar y dydd cyntaf o'r mis Penemus neu Tamus.† Hyn ydoedd i'w gyfrif yn aneirif liaws o feirwon. Ac er na osodasid Manneus yn llywodraethwr y porth hwnnw ei hun, etto efe a appwyntiasid i dalu'r cyflog cyffredin am gludo'r cyrph allan, ac felly yr oedd o angenrheidrwydd yn rhwym i'w cyfrif hwynt; tra'r oedd eraill yn cael eu claddu gan eu perthynasau: er nad oedd eu holl gladdedigaeth amgen na hyn, eu dwyn ymaith, a'u bwrw allan o'r ddinas. Ar ol y gŵr hwn amryw ddinasyddion godidog a redasant at Titus, ac a ddywedasant iddo am yr holl liaws o dlodion a fuont feirw; ac nad oedd ddim llai na chwe chan mil wedi eu bwrw allan trwy'r pyrth; etto fyth na allai nifer rhai eraill gael ei ddatguddio. A dywedasant wrtho ymhellach, mai pan na's gallant yn hwy gludo allan gyrph meirw'r tlodion, eu bod yn eu gosod hwynt yn bentyrrau ar eu gilydd mewn tai mawrion, ac yn eu cau i mewn yno: megis hefyd fod medimnus o wenith yn cael ei werthu am dalent: ac, ymhen amser ar ol hynny, pan nad oedd yn bosibl casglu llysiau, o herwydd fod yr holl ddinas wedi murio o amgylch iddi, rhai personau a yrwyd i'r fath gyfyngder dychrynllyd ac i chwilio ceulenydd cyffredin, a hen domenau anifeiliaid, i ymborthi ar yr hyn a gaent yno: a'r peth na ellid gynt gymmaint a dioddef yr olwg arno, a arferent yn awr yn lluniaeth. Wedi clywed o'r Rhufeiniaid am hyn oll, hwy a dosturiasant wrth eu cyflwr; tra yr oedd yr ymbleidwyr, y rhai a'i gwelent, yn parhau yn anedifeiriol; ond a oddefasant yr un cyfyngder i ddyfod arnynt eu hunain. Canys hwy a ddallwyd gan y dynghedfen ag ydoedd eisoes yn dyfod ar warthaf y ddinas, ac arnynt eu hunain.

# LLYFR VI.

*Yn cynnwys yspaid Un Mis.*

## O'R CYFYNGDER EITHAF I BA UN Y DAROSTYNGWYD YR IUDDEWON, HYD GYMMERIAD JERUSALEM GAN TITUS.

### PENNOD I.

*Am gynnyddiad y trueni a oddefwyd gan yr Iuddewon; ac am yr ymosodiad a wnaethpwyd gan y Rhufeiniaid ar Dŵr Antonia.*

FEL hyn y darfu i flinderau Jerusalem gynnyddu waeth-waeth yn feunyddiol: a'r ymbleidwyr oeddynt fyth yn fwy llidiog trwy'r gwasgfeuon yr oeddynt tanynt; ïe, pan oedd y newyn yn dechrau ymaflyd ynddynt hwythau, megis yr ysglyfaethodd y bobl o'u blaen. Ac yn wir y lliaws o ysgerbydau a orweddent y naill ar y llall ydoedd yn olwg dra ofnadwy, ac a barodd ddrewdod neu sawr heintlyd, yr hwn oedd yn rhwystr i'r rhai a fynnent wneud rhuthriadau allan o'r ddinas, ac ymladd â'r gelyn. Ond fel

* Y mae Josephus yma, ac o'r blaen, IV. 8. yn cyfrif tir Sodom, nid fel rhan o'r llyn Asphaltitus, neu'r hyn a orweddai tan ei ddwfr, ond yn unig yn agos atto; megis y cymmerodd Tacitus hefyd yr un tybiau oddi wrtho ef, Han. V. 6, 7. yr hyn y mae Reland odidog yn cymmeryd ei fod yn wirionedd, yn ei nôd ar y lle hwn, ac yn ei Palestina, Llyfr I. t. d. 254,—258. Ond yr wyf fi yn hytrach yn meddwl am ran o ardal Pentapolis ei fod yn awr tan ddwfr y rhan ddeheuol o'r môr hwnnw, ond ysgatfydd nid yr holl wlad.

† B. A. 70.

yr oedd y rhai hynny i fyned allan mewn trefn ymladdgar, y rhai a fuasent eisoes yn ymarfer â deng mil o lofruddiau, ac yn rhaid iddynt sathru ar gyrph meirw fel yr elent rhagddynt; felly nid arswydent hwy, ac ni thosturient wrth rai a orfyddai fyned trostynt. Ac ni chyfrifent yr ammharch yma a wnaent i'r meirw yn un arwydd ddrwg iddynt eu hunain. Ond fel yr oeddynt a'u dehenlaw eisoes wedi eu halogi â llofruddiaeth eu cydwladwyr; ac yn y cyflwr hwnnw a redent allan i ymladd â dieithriaid; hwy a ymddangosant i mi megis yn bwrw gwradwydd ar Dduw ei hun, fel pe buasai yn rhy hwyrfrydig i ddyfod i'w cospi hwynt. Canys ni ddygid y rhyfel yn y fath fodd yn awr ym mlaen, a phe buasai ryw obaith iddynt o fuddugoliaeth; canys hwy a ymffrostient mewn dull anghenfilaidd tan yr anobaith o waredigaeth yr oeddynt ynddo. Ac yn awr y Rhufeiniaid, er cael o honynt eu poeni yn fawr wrth geisio y defnyddiau ynghyd, a ail-godasant eu bryncynnau mewn un ar hugain o ddyddiau, ar ar ol torri o honynt i lawr yr holl brennau yn y wlad ag oedd o amgylch y ddinas, ac o fewn deg a phedwar ugain o stadau iddi, fel y crybwyllais o'r blaen. Ac yn wir yr holl olwg ar y wlad oedd achos o synnedigaeth a braw. Canys y mannau hynny ag oeddynt o'r blaen wedi eu haddurno â choed, a gerddi hyfryd, ydoedd yn awr wedi myned bob ffordd yn anghyfannedd; a'u prennau wedi eu cwympo oll i lawr. Ac ni allai un dieithr-ddyn a welsai Judea o'r blaen, ynghyd â harddwych faes-drefi y ddinas, ac yn awr a'i canfyddai fel diffeithwch, amgen na galaru yn drist wrth gyfnewidiad mor fawr. Canys y rhyfel a ddodasai yr holl olygiadau tirion yn ddifrod cyfangwbl. Na phe buasai ryw un a wyddai am y lle o'r blaen yn dyfod ar fyr yno yn awr, ni adnabyddai mo honi drachefn: ond er ei fod yn y ddinas ei hun, etto er hyn i gyd, buasai yn gwneud ymofyniad am dani.

Ac yn awr y bryniau wedi eu gorphen, a roddasant achlysur o ofn i'r Rhufeiniaid ac i'r Iuddewon. Canys yr Iuddewon a ddisgwyliasant y cymmerid y ddinas, oddigerth iddynt allu difa y bryncyunau hynny: megis y disgwyliodd y Rhufeiniaid, os llosgid hwynt unwaith i lawr, na allent fyth ei chymmeryd hi. Canys yr ydoedd prinder mawr o ddefnyddiau, a chyrph y milwyr a ddechreuasant wanhau trwy y fath lafur caled, a'u heneidiau a ddiffygiodd trwy'r amrywiol arwyddion o'u haflwyddiant. Ië, y trallodion eu hunain ag oedd yn y ddinas a brofodd yn fwy digalondid i'r Rhufeiniaid, nag i'r rhai o fewn y ddinas. Canys hwy a gawsant fod yr ymladdwyr o Iuddewon heb ymollwng dim ynghanol eu cyfyngderau; pan oedd eu gobaith hwy o lwyddiant, yn eu mysg eu hunain, yn parhau i fyned lai-lai; eu bryncynnau a orfyddai roddi lle i ruthrau oddiwrth y gelyn; eu peiriannau i gadernid eu muriau; a'u hymladdfeydd agosaf i hyfdra eu gwrthwynebiad. A'r hyn oedd yn ddigalondid mwyaf iddynt, hwy a gawsant fod meddyliau gwrol yr Iuddewon yn rhagori ar y lliaws o flinderau yr oeddynt tanynt trwy eu hymryson, eu newyn, a'r rhyfel ei hun. Yn gymmaint ag yr oeddynt hwy yn barod i farnu, fod gorwylltedd eu hymosodiadau yn anorchfygol; ac na fyddai i'r bywiogrwydd a ddangosent gael ei leihau trwy eu trallodion. Canys pa ryw beth na allai y rhai hynny ei oddef, os llwyddent, pan droent eu haflwyddiant eu hun yn achlysur i'w gwrolder. Yr ystyriaethau hyn a wnaeth i'r Rhufeiniaid gadw cryfach gwarchawdlu ynghylch eu bryncynnau, nag a wnaethant o'r blaen.

Ond yn awr, Ioan a'i blaid a gymmerasant ofal i ddiogelu eu hunain ar ol hynny, ïe, er bwrw y mur hwnnw i lawr; ac a syrthiasant i weithio cyn i'r peiriannau dyrnodiol gael eu dwyn i'w herbyn. Etto ni allasant gwmpasu yr hyn a ymdrechent i'w gyflawni; ond, fel ag yr aethant allan â'u ffaglau, hwy a ddychwelasant yn ol tan ddigalondid mawr, cyn dyfod o honynt yn agos i'r bryncynau. A'r rhesymmau ydoedd y rhai hyn: oblegid, yn y lle cyntaf, nad ymddanghosodd eu hymdrech yn unol ac yn gydrychiol; ond hwy a aethant allan yn bartion gwahanol, ar amryw amserau, ac mewn dull arafaidd ac ofnus: ac, i ddywedyd y cwbl mewn un gair, heb gefnogrwydd Iuddewaidd ganddynt. Canys yr oeddynt yn awr mewn diffyg o'r peth sydd neillduol i'n cenedl ni, sef hyfdra mewn trais-ymosodiad, yn cyd-syrthio ar y gelyn, ac mewn parhad o'r hyn a elont yn ei gylch, er na lwyddont ynddo y waith gyntaf. Ond hwy yn awr a aethant allan mewn dull mwy egwan nag arferol; ac, ar yr un amser a

gawsant y Rhufeiniaid mewn trefn i frwydr, ac yn fwy cefnog na chyffredin; a'u bod yn gwarchod eu bryncynau yn bersonol, ac yn eu cyflawn arfogaeth; a hynny i'r fath raddau ar bob ochr, na adawent ddim lle i'r tân ddyfod i'w mysg; a bod pob un o'u gwŷr yn y fath galondid, fel ag y byddent feirw yn gynt nag y gadawent eu rhesau. Canys heblaw eu tŷb fod eu holl obaith wedi ei dorri ymaith os llosgid eu gweithiau drachefn, y milwyr oeddynt yn mawr gywilyddio i fod cyfrwysdra yn myned yn drech na gwrolder, cynddeiriogrwydd nag arfogaeth, lliosogrwydd na medr, ac Iuddewon na Rhufeiniaid. Yr oedd gan y Rhufeiniaid hefyd yn awr fantais arall, trwy fod eu hofferynau yn cyd-weithredu â hwynt yn ergydiad eu saethau a'u meini, mor belled a'r Iueddewon, pan y deuent allan o'r ddinas. Trwy yr hyn y dyn a syrthiai a fyddai yn rhwystr i'r sawl a fyddai nesaf atto, fel ag yr oedd y perygl o fyned yn mhellach yn lleihau eu sel yn eu cynnygiadau. Ac am y rhai a redasant i wyneb y piccellau, amryw o honynt a frawychwyd ar yr olwg o drefn reolaidd; ac agosrwydd rhesau y gelynion i'w gilydd, cyn dyfod o honynt i ymladd law-law: ac eraill a bigwyd â'u gwaywffyn, ac a ddychwelasant yn ol drachefn. O'r diwedd hwy a waradwyddasant eu gilydd; gan ddannod eu digalondid y naill i'r llall, yn cilio yn ol ac heb wneuthur dim. Yr ymosodiad yma a wnaethpwyd y dydd cyntaf o'r mis Panemus, neu Tamuz. Felly wedi encilio o'r Iuddewon, y Rhufeiniaid a ddygasant eu peiriannau, er ergydio cerrig attynt eisoes oddi ar dŵr Antonia: a hwy a oddiweddwyd â thân a chleddyf, ac â phob math o biccellau a barasai angenrheidrwydd i'r Iuddewon wneud defnydd o honynt. Canys er bod y rhai hyn yn hyderu yn fawr ar eu mur eu hunain; ac yn dirmygu peiriannau y Rhufeiniaid; etto hwy a ymdrechent i luddias y Rhufeiniaid i'w dwyn gogyfer â'r gaer. Yn awr y Rhufeiniaid hyn a ymdrechasant yn galed, i'w dwyn yno; gan gyfrif fod yr awyddfryd yma o eiddo yr Iuddewon mewn trefn i ochel unrhyw weithrediad a wnaed ar dŵr Antonia, o herwydd nad oedd ei furiau ond egwan, a'i sylfeini yn bwdr. Pa fodd bynnag ni chiliodd y tŵr hwnnw rhag yr ergydion a wnaethpwyd arno gan y peiriaint. Etto y Rhufeiniaid a ddaliasant i'r argraff a wnaethpwyd gan biccellau'r gelyn, y rhai yn wastadol a fwrrid attynt; ac ni chiliasant oddi wrth ddim o'r peryglon oedd arnynt oddi fynu; ac felly hwy a ddygasant eu hofferynau yno i weithredu. Ond gan eu bod islaw y lleill, a darfod eu niweidio yn dost gan y meini a fwrid i lawr arnynt, rhai o honynt a osodasant eu tariannau yn orchudd iddynt: ac mewn rhan â'u dwylaw, ac â bachau, hwy a ryddhasant ei sylfeini, a chyd â phoen fawr hwy a symmudasant bedwar o'r meini sylfaenol o'u lle. Yna y goddiweddwyd pob ochr gan y nos, yr hyn a ddododd ddiwedd ar eu hymrysoń presennol. Pa fodd bynnag, y nos honno y mur a siglwyd gan yr hyrddod dyrnodiol, (yn y lle hwnnw ag yr arferasai Ioan y ddyfais o'r blaen, ac y disylfaenodd eu bryncynau;) fel y ciliodd y ddaear ar ol hynny, a'r mur yn ddisymmwth a syrthiodd i lawr.

Wedi i'r ddamwain hon ddigwydd yn annisgwyliadwy, meddyliau pob plaid a gyffrowyd mewn dull amrywiol. Canys gallasai un feddwl y buasai'r Iuddewon yn digaloni, oblegid fod y syrthiad hwn o'u caer, neu fur amddiffynol, heb ei ddisgwyl ganddynt; ac ni wnaethant hwy ddim parottoad gogyfer â hynny. Etto hwy a ymgefnogasant, o herwydd fod tŵr Antonia ei hun yn sefyll etto: megis ag y darfu i'r llawenydd annisgwyliadwy gan y Rhufeiniaid wrth gwymp y mur gael ei ddiffodd yn fuan, trwy'r golwg a gawsant ar fur arall, a wnaethai Ioan â'i blaid y tu mewn iddo. Pa fodd bynnag, yr ymosodiad ar yr ail fur hwn a ymddangosodd yn haws na'r cyntaf: o herwydd y gellid dringo at hwnnw yn esmwythach ar hyd y darnau hynny o'r mur a gwympasid. Y mur newydd yma hefyd oedd yn edrych yn llawer mwy egwan na thŵr Antonia: ac yn ganlynol y Rhufeiniaid a ddychymmygasant ei wneuthur ar gymmaint brys, ag y gallent yn fuan ei ddadymchwelyd. Etto ni anturiodd neb yn awr ddringo i fynu at y mur hwn: gan olygu y byddai i'r cyfryw a wnai hynny yn gyntaf yn sicr o gael eu lladd.

Yn awr Titus, ar yr ystyriaeth o fod ymdrechiadau milwyr mewn rhyfel yn cael yn bennaf eu cynhyrfu trwy obaith, a thrwy ymadroddion da; a bod cynghorion ac addewidion

yn fynych yn gwneud i ddynion anghofio'r peryglon y maent yn rhedeg iddynt; ïe, rai gweithiau yn eu gyrru i ddiystyru angau ei hun; fe grynhodd ynghyd y rhai dewraf o'i fyddin, ac a brofodd pa beth a allai wneuthur o'i wŷr trwy'r moddion hyn: "O fy nghyd-filwyr," eb efe, "i roddi cyngor i ddynion wneuthur peth a fyddo heb ddim perygl ynddo, sydd ar y cyfrif hwnnw yn anghlodfawr iddynt hwy, i ba rai y gwneir y cyngor hwnnw: ac yn wir felly y mae gyd â'r sawl a wnelo'r cyfryw gyngor yn achlysur i'w ddigalondid ei hun hefyd. Meddyliaf gan hynny y dylai y cyfryw gynghorion gael gwneuthur defnydd o honynt pan fyddo anturiaethau mewn rhyfel yn golygu yn beryglus, ac etto yn deilwng o gael eu cynnyg gan bob un yn neillduol. Yn ganlynol yr wyf fi yn hollol o'r un farn a chwi, ei fod yn orchwyl anhawdd i fyned i fynu at y mur. Ond ei fod yn briodol i'r rhai a ddymunant glod am eu gwrolder, i ymdrechu âg anhawsderau yn y fath amgylchiadau, a ymddengys y pryd hynny, pan y neillduol amlygwyf, ei fod yn beth dymunol i farw gyd â chanmoliaeth: ac na fydd i'r cefnogrwydd angenrheidiol wrtho yn hyn fyned yn ddiwobr i'r rhai a wnant y cynhygiad cyntaf. A gadewch i'm hymresymiad cyntaf er mwyn eich cynhyrfu iddo, gael ei gymmeryd oddiwrth yr hyn, ysgatfydd, a feddyliai rhai yn rhesymmol i'ch perswadio rhagddo; fy meddwl yw, parhad ac amynedd yr Iuddewon hyn, hyd yn oed tan eu haflwyddiant. Canys nid yw yn gweddu i chwi, y rhai ydych Rufeiniaid, a milwyr i'm' fy hun; y rhai yn amser heddwch a ddysgwyd pa fodd i ryfela; a'r rhai a arferwyd i fuddugoliaethu yn y rhyfeloedd hynny, i fod o is radd na'r Iuddewon, yngwaith eich dwylaw, neu yngwrolder eich meddyliau: hynny yn enwedigol pan ydych ar derfyn buddugoliaeth, ac yn cael eich cynnorthwyo gan Dduw ei hun. Canys am ein haflwyddiant, hynny a barwyd gan gynddeirogrwydd yr Iuddewon, tra'r ydoedd eu dioddefiadau i'w gyfrif i'ch gwrolder chwi, a'r cymmorth a ganiattawyd gan Dduw. Canys am yr ymrysoniadau a fuont ynddynt, y newyn y maent tano, y cynllwyn y maent yn awr yn ei oddef, a chwymp eu mur heb ein peiriannau, beth a allai y cwbl fod, ond amlygrwydd o ddigter Duw tu ag attynt, a'i gynnorthwy cyfranogol i ni? Ni bydd gan hynny yn weddus i chwi ddangos eich hunain islaw iddynt hwy, pa rai yr ydych mewn gwirionedd yn rhagori arnynt; neu fradychu y dwyfol gymmorth hwnnw a gyfrannir i chwi. Ac yn wir, pa fodd y gellir cyfrif hyn yn amgen nag ymddygiad gwael ac annheilwng, pan y darfu i'r Iuddewon, y rhai ni raid iddynt gywilyddio llawer os gadewir hwynt, o herwydd ddysgu o honynt er's hir amser fod yn gaeth-weision i eraill, ydynt etto yn ddirmygu marw, fel na byddont yn hwy felly; ac yn gwneud rhuthrau i'n canol yn fynych, nid mewn gobaith o fuddugoliaethu arnom, ond yn unig er amlygrwydd o'u gwrolder? Nyni y rhai ydym o fewn ychydig wedi meddiannu'r holl fyd a berthyn i dir neu fôr, i ba rai y bydd yn fawr gywilydd os na orchfygwn hwynt, nid ydym unwaith yn cymmeryd arnom un antur yn erbyn ein gelynion â llawer o berygl ynddi: ond a ydym yn eistedd yn segur, gyd â'r fath arfogaeth ardderchog ag sydd gennym; ac yn unig yn disgwyl hyd oni byddo i'r newyn a ffortun wneud ein gorchwyl eu hunain: a hyn tra y mae yn ein gallu, ag un antur fechan, ennill yr hyn oll a geisiwn. Canys os awn i fynu i'r tŵr Antonia hwn, nyni a ennillwn y ddinas. Oblegid os byddai achos ymmhellach i ymladd â'r rhai hyn yn y ddinas, yr hyn ni thybiaf y gall fod; gan y byddwn y pryd hynny ar frig neu * ben y mynydd, ac yn dyfod ar warthaf ein gelynion cyn y caffont eu hanadl; y manteision hyn a addawent ddim llai i ni na buddugoliaeth fuan a sicr ar ein gelynion. Am danaf fy hun, mi adawaf o'r neilldu yn bresennol grybwyll am gymmeradwyaeth y rhai † a fyddent feirw mewn rhyfel; ac a beidiaf â llefaru

---

* Reland a noda yn y lle hwn, gyd â phriodoldeb, fod tŵr Antonia yn sefyll ar uwch lle na llawr y deml, neu'r cyntedd cyssylltedig â hi: ac yn ganlynol eu bod yn disgyn oddi yno i'r deml; fel y crybwylla Josephus hefyd mewn lle arall. Gwel VI. 2.

† Yn yr areithiad yma o eiddo Titus, gallwn weled yn eglur y dychymmyg oedd gan y Rhufeiniaid y pryd hynny am farwolaeth, ac o gyflwr dedwyddol y rhai a fyddent feirw mewn rhyfel; ac yngwrthwyneb i hynny y rhai a drengent yn anenwog yn eu gwelyau gartref. Reland hefyd a ddug ger bron ddau ddarlleniad cyferbyniol i'w gilydd: un allan o Ammianus Marcellinus ymherthynas i'r Alani, Llyfr xxxi. "Barnent hwy y dyn hwnnw yn ddedwydd, yr hwn a osodai ei fywyd i lawr mewn brwydr." Yr un arall sydd o eiddo Valerius Maximus, Llyfr xi. p. 6. yr hwn a ddywed, fod "Y Cimbri (Cymry, fel y tybir,) a'r Celtiberi yn llammu gan lawenydd yn y fyddin; megis trwy hynny, eu bod i fyned allan o'r byd yn gledfawr ac yn ddedwyddol.

am anfarwoldeb y dynion hyny a leddir ynghanol eu hymdrech filwraidd. Etto nis gallaf ymarbed â datgan ymreg ar y rhai sydd o wahanol dymmer, ac yn dymuno marw mewn amser o heddwch, trwy ryw glefyd neu gilydd; gan fod eu heneidiau tan y farnedigaeth o fyned i'r bedd gyd â'u cyrph. Canys pa ddyn rhinweddol sydd na's gwyr, fod yr eneidiau a wahanir oddiwrth eu cyrph cnawdol mewn rhyfel trwy'r cleddyf, yn cael eu derbyn gan yr awyr neu'r wybr, yr elfen buraf honno, a'u huno â'r llu a osodir ym mhlith y ser; ac yn dyfod yn fodau daionus, a chyfryngwyr hynaws; ac yn dangos eu hunain fel y cyfryw i'w hiliogaeth o'u hol? Pan ar yr eneidiau hyny a ddiflanant yn, a chyd â'u cyrph afiach, y mae'n dyfod yn nos dywyll ddu, i'w gwahanu i ddiddymdra, a dwfn ebargofiad i gymmeryd ymaith bob coffa o honynt; a hyny er y dichon iddynt fod yn lân oddiwrth frychau a halogedigaethau y byd hwn. Felly, yn yr amgylchiad hwn, yr enaid sydd yn dyfod yr un pryd i eithaf terfynau ei fywyd, a'i gorph, a'i goffadwriaeth hefyd. Ond gan fod tynghedfen wedi penderfynu i farwolaeth ddyfod o angenrheidrwydd ar bob dyn, y cleddyf sydd ragorach offeryn i'r pwrpas hwnnw nag un afiechyd pa bynnag. Onid yw gan hyny yn beth gwael ynom ni ruso rhoddi i fynu yr hyn a fyddo er lles cyffredin, yr hyn sydd raid ei roddi i fynu i dynghedfen? A'r ymadroddiad hwn a wnaethum oddiar ddychymmyg fod yn rhaid i'r sawl a elo gyntaf i fynu at y mur hwn, o angenrheidrwydd gael eu lladd yn y cynnygiad: ond bod er hynny gan ddynion o iawn-wroldeb le i ddisgwyl diangfa, hyd yn oed yn yr anturiaethau mwyaf peryglus. Oblegid yn y lle cyntaf, y rhan hyny o'r mur o'r blaen ag a fwriwyd i lawr sydd yn hawdd i esgyn arno; ac am y mur newydd, hawdd ydyw ei ddifetha. Bydded i chwi gan hyny, amryw o honoch, ymegnïo eich hunain, ac ymosod ynghylch y gwaith hwn; a chyd-annogwch a chynnorthwywch eich gilydd: a'ch gwrol-waith hwn yn fuan a dyrr galonau eich gelynion. Ac ysgatfydd y fath orchwyl gogoneddus a hwn o'r eiddo chwi, a ddichon gael ei gyflawni heb dywalltiad gwaed. Canys er bod yn iawn i feddwl y bydd i'r Iuddewon gynnyg eich rhwystro yn nechreuad eich esgynfa attynt: etto yn ol i chwi unwaith ddirgelu eich hunain oddi wrthynt, a'u gyrru ymaith trwy orfod, ni's gallant oddef eich ymosodiad yn eu herbyn ddim yn hwy; er na fyddai i ond ychydig o honoch eu rhagflaenu, a myned tros y mur. Minnau a wridiwn gan gywilydd pe na's gwnawn ef, yr hwn a anturia hyn, i gynfigenu wrtho gan eraill, trwy y gwobrwyon a roddwn iddo. Os y cyfryw un a ddiangc â'i fywyd ganddo, efe a gaiff flaenori ar eraill nad ydynt yn awr ond ei gyd-raddolion: er ei fod yn wir hefyd, y bydd i'r gwobrwyon mwyaf ddeilliaw i'r sawl a fyddo marw yn y cynnygiad."

Wedi'r ymadroddiad yma gan Titus, eraill o'r lliaws a ofnasant anturio i berygl mor fawr, a dringo i fynu ymlaenaf ar y mur. Ond yr ydoedd un â'i enw Sabinus, milwr ag oedd yn gwasanaethu ym mysg y Cohortiaid, a Syriaid wrth enedigaeth; yr hwn a ymddangosodd yn un o wrolder mawr; yn gystal yn yr ymladdfeydd a wnaethai, a'r cryfdwr meddwl a ddangosasai. Er y gallasai un feddwl, cyn ei ddyfod at ei orchwyl, trwy ymddangos o hono mor egwan o gorpholaeth, nad ydoedd yn gymmwys i fod yn filwr. Yr ydoedd yn dywyll ei liw, ei gnawd yn denau, ac yn gul, yn cydio â'r esgyrn. Ond yr oedd rhyw yspryd tra gwrolwych yn trigo yn y corph bychan hwnnw. Yn ganlynol fe safodd i fynu, ac a lefarodd i'r effaith yma: "Myfi, gyd â pharodrwydd, wyf yn rhoddi fy hun i ti, O Cæsar. Myfi yn gyntaf a esgynaf; a dymunai fy nghalon i'th ffortun di ddilyn fy mwriad a'm cefnogrwydd. Ac os rhyw ddrwgffortun a rwgnacha i mi lwyddiant ar fy ymdrechiadau, deliwch sylw, na fydd fy aflwyddiant yn annisgwyliadwy: ond fy mod yn gwneud dewisiad gwirfoddol o farw er dy fwyn di." Wedi iddo ddywedyd hyn, a thaenu ei darian tros ei ben â'i law asswy; a thynu allan ei gleddyf â'i ddeheulaw, fe gychwynodd i fynu tu ag at y mur yn gymmwys ynghylch y chwechfed awr o'r dydd. Fe'i dilynwyd ef gan un ar ddeg eraill, a dim yn rhagor o rai a ganlynent ei wrolder. Ond etto y dyn hwn ydoedd y blaenor arnynt oll, ac a aeth yn gyntaf i fynu megis wedi ei gynhyrfu gan gynddaredd dwyfol. Yn awr y rhai a wylient y mur a saethasant attynt oddi yno, gan gyfeirio aneirif rifedi o biccellau

i'w herbyn o bob tu. Hwy hefyd a dreiglasant feini mawrion arnynt, yr hyn a ddadymchwelodd rai o'r un ar ddeg oedd gyd ag ef. Ond am Sabinus ei hun, fe gyfarfu â'r piccellau a fwrid atto: ac er ei niweidio ganddynt, ni roddodd i fynu eccrwch ei ymosodiad cyn esgyn o hono i ben y mur, a dodi'r gelyn i ffoi. Canys fel yr oedd yr Iuddewon yn synnu wrth ei fawr rymmusder, a gwrolder ei feddwl; ac megis y tybiasant i ychwaneg o Rufeiniaid ddringo ar y mur nag a ddarfuasai, hwynt-hwy a ffoisant ymaith. Ac yn awr ni's gall un amgen nag achwyn yma ar ffortun megis yn cenfigenu fyth wrth rinwedd; a phob amser yn rhwystr i gyflawni rhyw orchestwaith canmoladwy. Dyma fel y bu ymherthynas i'r dyn o'n blaen, pan ydoedd ar fin cyflawni ei amcan; canys yna fe dramgwyddodd wrth faen mawr, ar ba un y syrthiodd wysg ei ben, gyd â sŵn tramawr. Ar hyn yr Iuddewon a ddychwelasant yn ol: a phan welsant ef heb ddim ond ei hun, ac wedi syrthio i lawr, hwy a fwriasant biccellau atto o bob tu. Pa fodd bynnag fe gyfododd ar ei lin, ac a orchuddiodd ei hun â'i darian; ac ar y cyntaf fe amddiffynodd ei hun yn eu herbyn, ac a glwyfodd amryw o'r rhai a agosasant atto. Ond bu raid iddo'n fuan laesu ei ddeheulaw trwy amldra'r clwyfau a roddwyd iddo, nes o'r diwedd ei fod wedi ei hollol orchuddio â phiccellau, cyn iddo drengu. Yr ydoedd yn un a haeddasai well tynghedfen ar gyfrif ei fawrfrydigrwydd: ond, fel yr ydoedd i'w ddisgwyl, fe syrthiodd tan gynhygiad mor fawr. Am y lleill o'i gyd-ymdrechwyr, yr Iuddewon a ddrylliasant dri o honynt wrth eu hergydio â cherrig, ac a'u lladdasant fel yr oeddynt wedi dyfod i fynu i ben y mur. Yr wyth eraill wedi eu clwyfo, a gymmerwyd i lawr, ac a ddygwyd i'r gwersyll. Y pethau hyn a wnaethpwyd ar y trydydd dydd o'r mis Panemus neu Tamuz.

Ym mhen y ddeuddydd ar ol hynny, deuddeg o'r gwŷr hynny ag oedd ar y wynebdu, ac yn cadw gwyliadwriaeth o flaen y bryncynnau, a alwasant attynt gynhalydd banerau y pummed lleng, a dau eraill o lu y gwŷr meirch, ac un udganwr: y rhai hyn a aethant yn ddigyffro, ynghylch y nawfed awr o'r nos, trwy'r adfeiliau i dŵr Antonia: ac wedi torri gwythi blaen-wylwŷr y lle, fel yr oeddynt yn cysgu, hwy a feddiannasant y mur; ac a barasant i'r udganwr swnio ei udgorn. Ar hyn y gwylwyr eraill a godasant yn ddisymmwth i fynu, ac a ffoisant ymaith, cyn i neb allu gweled pa nifer ydoedd y rhai a ddaethant i fynu: mewn rhan oblegid yr ofn ag oeddynt ynddo, ac mewn rhan o herwydd sŵn yr udgorn a glywsant, hwy a dybiasant fod nifer mawr o'r gelynion wedi dyfod i fynu. Ond cyn gynted ag y clybu Cæsar yr arwydd, fe orchymmynodd i'r fyddin ymwisgo â'u harfogaeth yn ddioed; ac efe a ddaeth yno gyd â'i flaenoriaid, ac a esgynodd y lle yn gyntaf; megis ag y darfu y gwŷr dewisedig oedd gyd ag ef. Ac fel yr oedd yr Iuddewon yn diangc ymaith i'r deml, hwy a syrthiasant i'r gwagle a gloddiasai Ioan tan fryncynnau y Rhufeiniaid. Yna y darfu i'r ymbleidwyr o bob un o gyrph y fyddin Iuddewaidd, yn gystal yr un a berthynai i Ioan, a'r un a berthynai i Simon, eu gyrru ymaith; ac yn wir nid oeddynt mewn un wedd yn ddiffygiol ymherthynas i'r radd uchaf o rymmusder a bywiogrwydd. Canys hwy a gyfrifent eu hunain wedi eu dad-wneuthur yn hollol, os unwaith y deuai y Rhufeiniaid i'r deml; fel ag y golygodd y Rhufeiniaid yr un peth yn ddechreuad eu buddugoliaeth. Felly brwydr ofnadwy a ymladdwyd yn y mynedfa i mewn i'r deml: tra'r oedd y Rhufeiniaid yn gwasgu ym mlaen, mewn trefn i gael meddiant o'r deml honno; a'r Iuddewon yn eu gyrru yn ol i dŵr Antonia. Ym mha frwydr yr oedd y piccellau yn ddiddefnydd ar bob ochr, yn gystal â'r gwaywffyn; a phob un o'r ddwyblaid a dynnasant eu cleddyfau, ac a ymladdasant law-law. Yn awr tra y parhaodd yr ymdrech hwn yr oedd sefyllfa y dynion yn anwahaniaethol ar bob ochr, a hwy a ymladdasant ar yr antur, gan eu bod yn gymmysgedig y naill â'r llall, ac yn derfysglyd o herwydd culni y lle; pan oedd y sŵn a wnaethpwyd yn dyfod i'r glust mewn modd anwahanredol, oblegid ei fod mor dra uchel. Lladdfeydd mawrion yn awr a wnaethid ar bob ochr. A'r ymladdwyr a sathrasant ar gyrph, ac arfau y rhai oedd yn feirw, ac a'u gwnaethant yn ddrylliau. Yn ganlynol, i ba ochr bynnag y gogwyddai'r frwydr, y rhai trechaf a annogasant eu gilydd i yrru ym mlaen, fel ag yr oedd y rhai a gorid yn galaru yn fawr.

Ond etto nid oedd dim lle i ddiangc, nac i erlid; ond ymosodiad a gwrthwynebiad afreolaidd, tra'r oedd y byddinoedd yn gyd-gymmysg â'u gilydd. Eithr y rhai ydoedd yn y rhes gyntaf oeddynt dan angenrheidrwyd o ladd eraill, neu gael eu lladd eu hunain, heb un ffordd i ddiangc. Canys y rhai hynny ar bob ochr a ddeuent ar ol, a wnaent i'r rhai cyntaf fyned ym mlaen; heb adael dim lle gwâg rhwng y ddwy fyddin. O'r diwedd sêl danbaid yr Iuddewon a aeth yn rhy galed i fedrusrwydd y Rhufeiniaid;a'r frwydr oedd yn awr yn tueddu yn hollawl y ffordd honno. Canys yr ymladdfa a barhasai o'r nawfed awr o'r nos, hyd y seithfed awr o'r dydd. pan y daeth yr Iuddewon ym mlaen yn lluoedd a chanddynt y perygl yr oedd y deml ynddo yn gynhyrfiad i hynny; a'r Rhufeiniaid heb ganddynt yma ond darn o'u byddin. Canys eu llengau, ar ba rai yr hyderai'r milwyr o'r ochr hynny, ni ddaethent i fynu attynt. Felly yn bresennol fe dybiwyd yn ddigon gan y Rhufeiniaid i gymmeryd meddiant o dŵr Antonia.

Ond yr ydoedd un Julian,canwriad, a ddaethai o Bithynia, gwr ag iddo glod mawr, yr hwn gynt a welswn fy hun yn y rhyfel hwnnw; un o hynodrwydd mwyaf oedd efe, oblegid ei gyfarwyddyd mewn rhyfel, grymmusder ei gorph, a chefnogrwydd ei enaid. Y gwr hwn yn canfod y Rhufeiniaid yn colli tir, ac mewn cyflwr athrist; (canys efe a safodd yn ymyl Titus yn nhŵr Antonia,) a neidiodd allan, ac o hono ei hun a ddododd yr Iuddewon i ffoi, pan oeddynt eisoes yn orchfygwyr; ac a wnaeth iddynt gilio cyn belled a chyntedd tufewnol y deml. Rhagddo ef y lliaws a ffoesant yn dyrfaodd;gan e ddwl wrth ei rymmusder, a'i chwyrn ymosodiadau, nad eiddo dyn yn unig oeddynt. Yn ganlynol fe ruthrodd trwy ganol yr Iuddewon, fel yr oeddynt yn wasgaredig o amgylch, ac a laddodd y rhai a ddaliai. Ac yn wir nid ydoedd un olwg a ymddangosodd yn fwy rhyfedd gan Cæsar,neu yn fwy ofnadwy i eraill,na hyn. Pa fodd bynnag, cafodd ei erlid ei hun gan dynghedfen, yr hon nid oedd bosibl iddo, fel dyn marwol, ddiangc rhagddi. Canys fel yr oedd ganddo am ei draed * esgydiau yn llawn hoelion preiffion a llymion, fel ag yr oedd gan bob un o'r milwyr eraill; felly yn ei redfa ar hyd palmant y deml, efe a lithrodd, ac a syrthiodd i lawr ar ei gefn, gyd â thrwst mawr a wnaethpwyd gan ei arfogaeth. Hyn a wnaeth i'r rhai a ddiangasant ddychwelyd yn eu hol. Ar yr hyn y Rhufeiniaid oedd yn nhwr Antonia a waeddasant yn uchel fel ag yr oeddynt yn ofni am y dyn. Ond yr Iuddewon a grynhodd o'i ddeutu yn dorfeydd, gan ei daro â'u gwaywffyn a'u cleddyfau o bob tu.

Yn awr efe a wnaeth dderbyniad o lawer o ergydion yr arfau heiyrn yma ar ei darian; ac a gynhygiodd amryw weithiau gyfodi i fynu drachefn: ond efe a deflid i lawr gan y rhai a ergydiai arno. Etto darfu iddo, fel ag yr oedd yn gorwedd, frathu amryw o honynt â'i glyddyf. Ac ni laddwyd ef ar fyr, gan ei fod wedi ei orchuddio â'i helm, a'i ddwyfronneg, yn yr holl rannau hynny o'i gorph lle y gellid ei orddiwes â chlwyfau marwol. Efe hefyd a ymwasgodd yn agos i'w gorph, nes bod ei holl aelodau eraill wedi eu chwilfriwo; ac ni feiddiai neb ddyfod i'w amddiffyn; ac yna fe ymroddodd i'w dynghedfen. Cæsar a dristawyd yn fawr ar gyfrif y dyn yma ag oedd yn meddiannu y fath wrolder; ac yn enwedig o herwydd ei ladd yngolwg cynnifer o bobl. Fe ddymunasai ei hun ddyfod i'w gynnorthwyo: ond ni chaniattâi y lle iddo wneuthur hynny; tra'r oedd y rhai a allent ei wneuthur tan ormod dychryndod i'w gynnyg. Fel hyn wedi i Julian ymdrechu ag angau tros hir amser; ac heb adael ond i ychydig a roesai glwyf marwol iddo fyned ymaith yn ddifriw; cafodd o'r diwedd dorri ei wythi, er mai nid heb lawer o anhawsdra: a gadawodd o'i ol barch mawr; nid yn unig ym mhlith y Rhufeiniaid, a chan Cæsar ei hun, ond ym mysg ei elynion hefyd. Yna'r Iuddewon a gippiasant afael yn ei gorph marw, ac a ddodasant y Rhufeiniaid ar ffo drachefn, gan eu cauad i fynu yn nhŵr Antonia. Yn awr y rhai a hynododd eu hunain fwyaf, ac a ymladdasant yn wresoccaf yn y frwydr hon o du'r Iuddewon ydoedd, Alexas a Gyptheus pleidwyr Ioan; ac o blaid Simon, Malachias, a Judas mab Merto, ac Iago mab Sosas, cadflaenor yr Idumeaid. Ac o'r brwdfrydwyr, dau frawd, Simon a Judas, meibion Jairus.

* Nid rhyfedd oedd i'r Julian hwn, pa un oedd â chymmaint o hoelion yn ei esgidiau, lithro ar balmant y deml; yr hwn oedd lyfn, ac wedi ei osod â cherrig o faen-mynor o amryw liwiau.



DEATH OF JULIAN.

*Published by J. & J. Cundee, Albion Press London 1812.*

## PENNOD II.

*Titus yn rhoddi gorchymmyn i ddifrodi tŵr Antonia ac yna yn perswadio Josephus i gyngхori'r Iuddewon drachefn i roddi fynu'r ddinas.*

YN awr Titus a roes orchymmyn i'w filwyr ag oedd gyd ag ef i gloddio i fynu sylfeini tŵr Antonia; ac i wneuthur tramwyfa barodlawn i'w filwyr i ddyfod i fynu. Tra'r oedd efe ei hun a Josephus wedi ei ddwyn atto; (canys efe a wnaethid yn hysbys mai ar y dydd hwnnw, pa un ydoedd yr * eilfed dydd ar bymtheg o Panemus neu Tamuz, y methodd yr offrwm, yr hwn a elwid y beudyddiol offrwm neu aberth; ac na wnaed mo hono i Dduw, o ddiffyg dynion addas i'w gyflawni; a bod y bobl yn dra gofidus o'i herwydd:) ac a orchymmynodd iddo ddywedyd yr un pethau wrth Ioan, ag a ddywedasai o'r blaen: mai os oedd ganddo fwriad maleisus i ymladd, y gallai ddyfod allan â'r nifer a welai yn dda o'i wŷr, mewn trefn i hynny, heb beryglu dinystr eu dinas na'u teml: ond ei fod ef yn dymuno na halogid y deml, na thrwy hynny droseddu yn erbyn Duw. Y gallai, os ydoedd yn dewis, offrymmu'r aberthau yn awr a beidiasent, gan ryw rai o'r Iuddewon a appwyntiai efe i hynny. Ar hyn Josephus a safodd ar le ag y gellid ei glywed, nid yn unig gan Ioan, ond gan lawer ychwaneg: ac yna a gyhoeddodd wrthynt yr hyn a roesai Cæsar tan orchymmyn iddo: a hyn yn yr iaith † Hebreaidd. Felly fe ddeisyfodd yn daer arnynt i arbed eu dinas eu hunain; a rhagflaenu'r tân ag oedd barod i oresgyn y deml, ac offrymmu eu harferedig aberthau ynddi. Wrth ei eiriau hyn, tristwch mawr a distawrwydd oedd amlwg i'w weled wedi cymmeryd lle ym mhlith y bobl. Ond y gormesdeyrn ei hun a fwriodd lawer o waradwyddiadau ar Josephus, a melldithion heblaw hynny; ac a chwanegodd o'r diwedd, na ofnasai efe un amser rhag i'r ddinas gael ei chymmeryd, o herwydd mai dinas Duw ei hun ydoedd. Mewn attebiad i'r hyn y dywedodd Josephus â llais uchel. "Yn ddiau ti a gedwaist y ddinas hon yn rhyfeddol o barchus er mwyn y Duwdod: y deml hefyd a erys heb ei halogi! Ac ni fuost di yn euog o ddim annuwioldeb yn erbyn yr hwn yr wyt yn disgwyl cymmorth ganddo! Y mae o hyd yn cael gwneud derbyniad o'i arferol aberthau! Y fath adyn truenus ydwyt! Pe byddai i ryw un dy amddifadu di o'th feunyddiol ymborth, ti a'i cyfrifit yn elyn: ond etto ti obeithi gael Duw yn amddiffynydd i ti yn y rhyfel yma, yr hwn a ddifuddiaist o'i addoliad: a thi a gyfrifi y pechodau hyn i'r Rhufeiniaid, y rhai hyd y pryd hwn a ofalant am beri i'n cyfreithiau gael eu sylwi; ac ynghylch ydynt yn cymmell i'r aberthau hynny gael eu hoffrymmu i Dduw, y rhai trwot ti beidiasant. Pwy yw yr hwn a all ochel gruddfan ac wylofain wrth y cyfnewidiad syn a wnaethpwyd yn y ddinas hon? gan fod dieithriaid a gelynion yn awr am ddiwygio yr annhrefn hynny a baraist ti: tra'r wyt ti yr hwn ydwyt Iuddew, ac wedi dy ddysgu yn ein cyfreithiau, wedi dyfod yn fwy gelyn iddynt nag eraill. Ond etto Ioan, nid yw fyth yn beth diystyrllyd i edifarhau, a diwygio yr hyn a gam-wnaethpwyd, ïe yn yr eithafoedd mwyaf. Y mae gennyt siampl o'th flaen o ‡ Jeconiah, brenin yr Iuddewon, os oes dymuniad gennyt i achub dy ddinas; yr hwn pan ddaeth brenin Babilon i wneuthur rhyfel i'w erbyn, a aeth o'i ddewisiad ei hun, allan o'r ddinas, cyn ei chymmeryd; ac aeth tan gaethiwed ewyllysgar, gyd â'i deulu, fel na thraddodid y cyssegr i'r gelyn, ac fel na welai dŷ Dduw yn cael ei osod ar dân. Ar ba gyfrif efe a berchir ym mysg yr Iuddewon, yn eu coffadwriaeth cyssegredig; a'r cof am dano sydd wedi myned yn anfarwol; ac a draddodir i wared i'n hiliogaeth trwy bob oesoedd. Dyma siampl ragorol yn y fath amser o berygl. Ac mi a feiddiaf addaw, y maddeuiff y Rhufeiniaid etto i ti. A chymmer sulw, fy mod i yr hwn a wnaf y cyngor hwn i ti yn un o'th genedl dy hun: myfi, yr hwn wyf Iuddew, a addawaf hyn i ti. Ac fe weddai i ti ystyried, pwy ydwyf ag sydd yn cyfrannu i ti y cyngor hwn; ac o ba le

* Hwn ydoedd ddiwrnod hynod yn wir, sef yr 17 o Panemus neu Tamuz, B. A. 70. pan mewn cyfattebiad i ragfynegiad Daniel, 606 o flynyddau o'r blaen, y darfu i'r Rhufeiniaid wneuthur "mewn hanner wythnos i'r aberth, a'r bwyd-offrwm beidio," Dan. ix. 27. Canys o fis Chwefror, B. A. 66. ynghylch pa amser y dechreuwyd y rhyfel hwn gan Vespasian, hyd yr amser presennol, yr ydoedd yn gymmwys dair blynedd a hanner. Gwel Daflenau Croniclaidd yr Esgob Llwyd ar y flwyddyn hon. Ac ni ddylid gadael o'r neilldu yr hyn ag sydd yn cadarnhau y parhad yma o'r rhyfel; mai ynghylch pedair blynedd cyn dechreuad y rhyfel hwnnw, yr ydoedd ryw faint uwchlaw saith mlynedd a phum mis, cyn dinystriad Jerusalem, pen. 5.

† Yr un ag a elwir felly yn y Testament Newydd, ac a ydoedd iaith gyffredin yr Iuddewon yn Judea, ac yn gangeniaith y Syriaid.

‡ Ein copiau presennol o'r Hen Destament ydynt mewn diffyg o'r canmoliaeth hwn i'r brenin Jeconiah neu Jehoiachin; yr hyn a ymddengys ei fod ynghopi Josephus.

yr wyf yn tarddu. Canys tra fyddwyf byw nid af byth i'r fath gaethiwed ag i ymwrthod â'm carennydd, neu anghofio cyfreithiau fy nhadau. Yr wyt ti etto yn ddig wrthyf, gan fy nirmygu a'm gwârâdwyddo. Yn wir ni's gallaf wadu nad wyf deilwng o driniaeth waeth nag y gellir cyfrif hyn i gyd; o achos yn wrthwynebol i dyngedfen, fy mod yn gwneud y gwahoddiad tyner yma i ti; ac yn ymdrechu i beri gwaredigaeth i'r rhai a fernir yn gyfiawn i gospedigaeth gan Dduw. A phwy sydd nad ydynt yn gwybod yr hyn a gynnwys ysgrifeniadau y prophwydi gynt? ac yn enwedig yr * areithiad ragfynegol honno ymberthynas i'r hyn ag sydd yn myned i gael ei gyflawni ar y ddinas druenus hon. Canys hwy a ragddywedasant y cymmerid y ddinas y pryd hynny, pan ddechreuai rhyw un ladd ei gyd-wladwyr ei hun. Ac onid yw y ddinas, a'r holl deml yn awr yn llawn o gyrph meirw eich cyd-wladwyr? † Duw, gan hynny, ie, Duw ei hun sydd yn dwyn y tân hwn ymlaen i buro'r ddinas a'r deml trwy'r moddion o'r Rhufeiniaid; ac sy'n myned i ddadwreiddio y ddinas hon, sydd yn llawn o'ch ffieidd-dra chwi."

Fel yr oedd Josephus yn llefaru y geiriau, gyd â gruddfanau a dagrau yn ei lygaid, ei lais a rwystrid gan gynhyrfiad ei feddwl, fel na fedrai y Rhufeiniaid amgen na thosturio wrth y blinder yr ydoedd tano, a rhyfeddu o'i blegid. Ond am Ioan, a'r rhai oedd gyd ag ef, nid oeddynt ond wedi eu cyffro yn fwy yn erbyn y Rhufeiniaid wrth wrando hyn, ac yn chwennychu cael Josephus tan eu hawdurdod. Etto darfu i'w ymadroddiad hwnnw effeithio ar amryw o'r goreuon; ac mewn gwirionedd rhai o honynt ydoedd mor ofnus o'r gwylwyr a osodasid gan yr ymbleidwyr, fel yr asosasant lle yr oeddynt; ond etto a foddlonwyd yn eu meddyliau eu bod hwy a'r ddinas wedi eu barnu i'w difetha. Rhai hefyd ydoedd o honynt ag a wyliasant am gyfleusdra i ddiangc at y Rhufeiniaid: o ba rai yr oedd yr archoffeiriaid Joseph a Jesus: ac o feibion yr archoffeiriaid dri; tad pa rai ydoedd Ishmael, yr hwn a dorrwyd ei ben ynCyrene, a phedwar o feibion Matthias: megis hefyd un mab i'r Matthias ‡ arall, yr hwn a ddiangodd ymaith § ar ol marw ei dad; a thad pa un a laddwyd gan Simon, mab Gioras, gyd â thri o'i feibion, fel y sylwiais eisoes. Llawer hefyd o wŷr enwog eraill a aethant trosodd at y Rhufeiniaid gyd â'r archoffeiriaid. Yn awr Cæsar nid yn unig a dderbyniodd y personau hyn yn dra charedig mewn ystyriaethau eraill; ond, gan wybod nad ewyllysient fyw yn ol arfer cenhedloedd eraill, fe'u danfonodd hwynt i Gophna, gan beri iddynt drigo yno tros yr amser presennol; a dywedyd, mai pan orphenai y rhyfel hwn, yr adferai i bob un o honynt eu meddianau drachefn. Felly hwynthwy yn gysurus a giliasant i'r ddinas fechan honno a bennodwyd iddynt, heb ofni dim perygl. Ond gan na ymddangosasant yn y ddinas, yr ymbleidwyr a roddasant allan drachefn fod yr encilwyr hyn wedi eu lladd gan y Rhufeiniaid: yr hyn a wnaethpwyd mewn trefn i attal eraill rhag diangc ymaith, rhag ofn y cyffelyb driniaeth.

Pa fodd bynnag wedi i Titus alw yn ol y gwŷr hyn o Gophna; rhoddes orchymmyn ar fod iddynt fyned o amgylch y mur, gyd â Josephus, a dangos eu hunain i'r bobl: ar yr hyn y ffodd llawer at y Rhufeiniaid. Y dynion hyn hefyd a ymgasglasant yn nifer mawr, ac a safasant o flaen y Rhufeiniaid; ac a attolygasant ar yr ymbleidwyr, gyd ag ocheneidiau a dagrau, yn y lle cyntaf i wneud derbyniad cyflawn o'r Rhufeiniaid i'r ddinas, ac achub eu trigfan honno o'r eiddynt drachefn: ac os na chyttunent â'r fath gynhygiad, fod iddynt o'r hyn lleiaf ymadael allan o'r deml, ac achub y tŷ sanctaidd i'w gwasanaeth eu hunain; oblegid na anturiai y Rhufeiniaid osod y cyssegr ar dân oddigerth tan yr angenrheidrwydd mwyaf. Etto darfu i'r ymbleidwyr eu gwrthwynebu hwynt fwyfwy:- a thra'r oeddynt yn gwaradwyddo â llais uchel, ac â chwerwder, yr encilwyr hynny, hwynt-hwy hefyd a osodasant eu hofferyn-

* Am yr areithfa hon, gwel y nod ar Llyfr IV. pen. 6.

† Josephus yma, ac mewn amryw fannau eraill, sydd yn llefaru yn y fath fodd, fel y mae'n amlwg i'w feddwl gael ei foddloni fod Duw o ochr y Rhufeiniaid, ac yn gwneuthur defnydd o honynt yn awr i ddinystrio'r genedl annuwiol honno o Iuddewon; yr hyn yn sicr oedd wir amgylchiad y mater hwn; megis ag y darfu y prophwyd Daniel yn gyntaf, a'n Hiachawdwr ei hun ar ol hynny yn eglur ei ragfynegi. Gwel Gyflawniad y Prophwydoliaethau, t. d. 64, &c.

‡ Josephus a ddywedasai o'r blaen, V. 13. ddarfod i'r pedwerydd fab hwn i Matthias ddiangc ymaith at y Rhufeiniaid, cyn lladd ei dad a'i frodyr, ac nid ar eu hol, megis yma. Yr hanes gyntaf, gyd â phob tebygolrwydd yw'r gywiraf. Canys pe na buasai i'r pedwerydd fab hwnnw ddiangc cyn dala'r lleill, a'n dodi i farwolaeth, efe a ddaliasid ac a roddasid i farwolaeth gyd â hwynt. Yr hanes ddiweddaf yma, gan hynny, sydd fel arwydd o anocheliad bychan yn Josephus, yn y lle o'n blaen.

§ Gwel Llyfr V. pen. 13.

au ar waith i ergydio piccellau, gwaywffyn, a meini ar byrth cyssgredig y deml, mewn pellder cyfaddas oddiwrth eu gilydd. Yn gymmaint ag y gellid cydmaru yr holl wagle o amgylch y deml i gladdfa neu fynwent, gan mor fawr oedd rhifedi y cyrph meirw yno. Megis y gellid cydmaru y tŷ ei hun i dŵr neu gastell milwraidd. Yn ganlynol y dynion hyn a ruthrasant ar y lleoedd cyssegredig yn eu harfogaeth, y rhai yn amgen nid oeddynt i nesâu iddynt: a hyny tra'r oedd eu dwylaw etto yn gynnes gan waed eu pobl eu hunain, yr hwn a dywalltasent. Ië, hwy a aethant ym mlaen yn y fath droseddiadau, fel y buasai'r un digter gan Iuddewon o naturiaeth yn erbyn Rhufeiniaid, pe buasent yn euog o'r fath ammharch yn eu herbyn hwynt, ag oedd gan Rufeiniaid yn awr yn erbyn Iuddewon, am eu hannuwiolddeb ymherthynas i'w defodau crefyddol eu hunain. Ië, yn wir nid oedd neb o'r milwyr Rhufeinaidd nad edrychasant gyd â braw ar y tŷ sanctaidd, gan ei addoli, a dymuno i'r yspeilwyr edifarhau, cyn i'w trueni ddyfod yn anfeddyginiaethol.

Yn awr Titus a ddwfn ofidiwyd â'r amgylchiad hwn o bethau; gan waradwyddo Ioan a'i blaid, a dywedyd wrthynt, "Oni ddarfu i chwi, wael-ddynion drygionus, trwy ein cennad ni osod i fynu eich * mur-gwahaniaeth hwn o flaen eich cyssegr? Oni chaniattawyd i chwi osod i fynu y colofnau perthynol iddo, mewn pelldra cyfaddas: ac i ysgrifennu arnynt yn Groeg, ac yn eich llythyrennau eich hunain waharddiad, yn arwyddo na fyddai i neb dieithriaid fyned tu hwnt i'r mur hwnnw? Oni roddasom gennad i chwi i ladd y cyfryw ag a elai y tu hwnt iddo er pe byddai yn Rhufeiniad? A pha beth ydych chwi yn ei wneud yn awr, chwychwi ddihirwyr drygionus! Pa ham yr ydych yn sathru ar gyrph meirw yn y deml hon? A pha ham yr ydych yn halogi y tŷ sanctaidd hwn â gwaed dieithriaid ac Iuddewon eu hunain? Yr wyf yn appelio at dduwiau fy ngwlad fy hun, ac at bob duw a fu ganddo erioed barch i'r lle hwn: (canys ni feddyliaf ei fod yn awr yn cael ei berchi gan un o honynt:) Yr wyf hefyd yn appelio at fy myddin fy hun, ac at yr Iuddewon hyn y rhai ydynt yn awr gyd â mi, ac hefyd attoch eich hunain, nad wyf fi yn eich gyrru i wneuthur ffieidd-dra yn eich cyssegr hwn. Ac os bydd i chwi ond newid lle ym mha un y gellwch ymladd, ni ddaw un Rhufeinwr yn agos i'ch cyssegrfa, ac ni chynhygir ammharch iddi. Ië, mi a ymdrechaf i gadw i chwi eich tŷ sanctaidd, pa un bynnag a fynnoch neu beidio." †

Fel yr oedd Josephus yn egluro'r pethau hyn o enau Cæsar, yr yspeilwyr a'r gorthrymwyr a dybiasant ddarfod i Titus lefaru hyn oddi ar ei ofn, ac nid ei ewyllys da tu ag attynt. Ond pan welodd Titus na pherswadid y dynion hynny trwy dosturi tu ag attynt eu hunain, ac nad oedd un gofal arnynt ynghylch achubiaeth y tŷ sanctaidd; fe aeth yn anewyllysgar ym mlaen â'r rhyfel yn eu herbyn. Ni allai yn wir ddwyn ei holl fyddin yno, oblegid culni y lle. Ond gan ddewis deg ar hugain o filwyr o rai mwyaf gwrol, allan o bob cant; a chan orchymmyn mil tan bob tribun, a gosod Cerealis yn brif-flaenor arnynt; rhoddodd orchymmyn i orddiwes gwylwyr y deml ynghylch y nawfed awr o'r nos. Ond fel yr oedd yn awr yn ei arfogaeth, ac yn parottoi i fyned i lawr gyd â hwynt, ni adawai ei gyfeillion iddo fyned o herwydd maint y perygl; a'r hyn a annogodd y blaenoriaid iddynt wneuthur. Canys hwy a ddywedasant, "Y gwnai ragor wrth eistedd i fynu yn nhŵr Antonia, fel dosparthwr gwobrwyon i'r milwyr hynny a ragorent ar eraill yn yr ymladdiad, na thrwy ddyfod i wared, a pheryglu ei berson ei hun o flaen y fyddin: canys hwy a ymladdent oll yn bwysig, tra fyddai Cæsar yn edrych arnynt." Cæsar a gydsyniodd â'r cyngor hwn: ac a ddywedodd, "Mai'r unig reswm oedd ganddo am y fath gydsyniad â'r milwyr ydoedd, fel y byddai yn alluog i iawn-farnu gwroldeb eu hymladdfeydd; ac na fyddai i un milwr ymdrechgar aros yn guddiedig, a methu o'i wobr; nag un milwr llwfr a digalonnog fyned yn ddigôsp: ond y byddai ei hun yn llygad-dyst; ac yn gallu rhoi tystiolaeth o'r hyn a wnaethid, yr hwn oedd i fod yn gyfranwr gwobrwyon a chos-

* Am y mur gwahaniaeth hwn, ag oedd yn neillduo Iuddewon oddiwrth Genhedloedd, gyd â'i golofnau, a'i argraphiadau, gwel Ddescrifiad y Temlau yn Saesonaeg, pen. 15.

† Mai'r Iuddewon gwrthryfelgar hyn ydoedd yr uniawn achos o'u dinystr eu hunain, a llosgiad eu dinas â'u teml; a darfod i Titus ymdrechu i achub pob un, sydd yma, ac ym mhob lle, i'w weled yn amlwg yn Josephus.

pedigaethau iddynt. Felly fe ddanfonodd y milwyr ynghylch eu gorchwyl, ar yr awr appwyntiedig, tra'r aeth efe i fynu ei hun i uwch lle yn nhŵr Antonia, o ba le y gallai weled yr hyn a fyddai yn cael ei wneuthur: ac yno y gwyliodd gyd ag ammhwylldra i weled y canlyniad.

Pa fodd bynnag ni chafodd y milwyr a ddanfonwyd wylwyr y deml yn cysgu, fel y gobeithiasant, ond gorfu iddynt yn union-gyrch ymladd â hwynt, a hynny law-law, gan ddarfod iddynt ruthro yn ddisymmwth arnynt gyd â bloedd fawr. Yn awr cyn gynted ag y darfu i'r lleill oedd yn y deml glywed gwaedd y rhai oedd ar wyliadwriaeth, hwy a redasant allan yn lluoedd. Yna y Rhufeiniaid a dderbyniasant y rhai a ymosododd gyntaf arnynt: ond y rhai a ganlynodd a syrthiasant ar eu lluoedd eu hunain; a llawer o honynt a driniasant eu milwyr eu hunain fel pe buasent eu gelynion. Canys y sŵn terfysglyd a wnaed o bob ochr a'u rhwystrodd i wahaniaethu lleisiau y naill oddi wrth y lleill: megis ag y darfu i dywyllwch y nos eu rhwystro i wneud y cyffelyb wahaniaeth yr un modd. Heblaw y dallineb hwnnw a gyfododd hefyd oddiwrth eu gelyniaeth a'u hofn ar yr un pryd. Am ba reswm yr un peth ydoedd gan y milwyr pwy a darawent. Pa fodd bynnag yr anwybodaeth yma a wnaeth lai o niweid i'r Rhufeiniaid nag i'r Iuddewon, o achos ymgyssylltu o honynt ynghyd tan eu tarianau; ac a wnaethant eu rhuthrau yn fwy rheolaidd na'r lleill: a phob un o honynt a goffaodd ei airgwylio. Tra'r oedd yr Iuddewon yn wastadol ar wasgar; ac yn gwneud eu hymosodiad a'u henciliad ar antur; ac felly yn ymddangos yn fynych i'w gilydd megis gelynion. Canys pob un o honynt a gymmerent eu gwŷr eu hunain a ddychwelai yn ol yn y tywyllwch am Rhufeiniaid, ac felly y ruthrent yn fyrbwyll arnynt; fel ag y clwyfwyd mwy o honynt gan eu gwŷr eu hunain, na chan y gelyn: nes, ar ddyfodiad y dydd ym mlaen, y dirnadasant natur yr ymladdiad trwy olwg eu llygaid ar ol hynny. Yna y safasant mewn trefn i ymladd yn gyrph gwahaniaethol, gan saethu eu piccellau yn rheolaidd, ac amddiffyn eu hunain yn drefnus; ac ni ddarfu i un ochr roddi i fynu, na thyfu yn flinedig. Y Rhufeiniaid a ymrysonasant y naill â'r llall pwy a ymladdai yn fywaf dewrwych; yn gystal bob dyn neillduol, a minteioedd ynghyd, gan eu bod yngolwg Titus: a phob un a benderfynodd ynddo ei hun, mai'r dydd hwnnw a fyddai yn dechrau ei ddyrchafiad os ymladdai yn wrol. Ar y llaw arall, annogaeth fwyaf yr Iuddewon i weithredu gyd â bywiogrwydd, ydoedd eu hofn am danynt eu hunain, ac am y deml, ynghyd â phresennoldeb eu gorthrymwr; yr hwn a gynghorai rai, a fygythiai, ac a gurai eraill. Yn awr fe ddigwyddodd fod hon yn frwydr orsafol: ym mha un yr ai'r milwyr ym mlaen, ac y deuent yn eu hol mewn byr amser, ac yn ddisymmwth. Canys nid oedd cyfwng mawr o dir i'w ffoedigaeth nac erlidiad. Ond etto'r oedd sŵn terfysglyd ym mysg y Rhufeiniaid o dŵr Antonia; a llef uchel yn dyfod allan ar bob achos, yn gwaeddi ar eu gwŷr eu hunain i wasgu ym mlaen gyd â chefnogrwydd pan fyddent yn drech na'r Iuddewon; ac i wneud sefyllfa pan ddychwelent yn ol. Felly yr oedd y lle hwn yn fath o chwareufwrdd rhyfelgar. Canys yr hyn a wnaed yn yr ymladdfa hon, nid ydoedd guddiedig oddi wrth Titus, na'r rhai oedd o'i amgylch ef. O'r diwedd fe ymddangosodd fod y frwydr hon, pa un a ddechreuodd ar y nawfed awr o'r nos, heb fyned drosodd hyd y bummed awr o'r dydd nesaf: ac o'r un lle ag y dechreuodd y frwydr, ni allai un blaid ddywedyd ei bod wedi gyrru'r llall i gilio: ond pob un o'r byddinoedd a adawsant y fuddugoliaeth mewn ansicrwydd rhyngddynt. Ym mha frwydr y rhai a hynodasant eu hunain ar du y Rhufeiniaid oeddynt amrywiol; ond ar du Iuddewon, ac o'r rhai oedd gyd â Simon, Judas mab Merto, a Simon mab Josias. O'r Idumeaid, James mab Sosas; a Simon mab Cathlas. O'r rhai oedd gyd â Ioan, Gyptheus, ac Alexas; ac o'r brwdfrydwyr, Simon mab Jairus.

Yn y cyfamser, eraill o'r fyddin Rufeinaidd mewn saith niwrnod o amser, a ddadymchwelasant rai o sylfaeni tŵr Antonia, ac a wnaethant ffordd lydan a hwylus i'r deml. Yna daeth y llengau yn gyfagos i'r cyntedd* nesaf allan, ac a ddechreuasant gyfodi eu bryncynnau. Un bryncyn ydoedd gyferbyn â chongl ogledd orllewin y deml † dufewnol. Un arall ydoedd wrth yr adeilad ogleddol ag a safai rhwng y

* Cyntedd y Cenhedloedd. † Cyntedd yr Israeliaid.

ddau borth. Am y ddau eraill, un ydoedd wrth ystafell-dŷ gorllewinol cyntedd allanol y deml; y llall gyferbyn â'i 'stafell-dŷ gogleddol. Pa fodd bynnag, y gweithiau ym a ddygwyd mor bell a hyn ymlaen gan y Rhufeiniaid, nid heb lawer o boen ac anhawsdra; yn enwedig am eu bod yn rhwym i gael eu defnyddiau o'r pellder o gant ystadau. Bu anhawsderau eraill hefyd arnynt: Weithiau trwy hydern yn ormod ar y sicrwydd oedd ganddynt o orchfygu y maglau Iuddewaidd a osodid iddynt: a thrwy y dibrisdod oedd yn yr Iuddewon, yr hwn a feddianwyd ganddynt oddiar yr anobaith o ddiangfa. Canys rhai o wŷr meirch y Rhufeiniaid, pan elent allan i gasglu coed neu wair, a adawent i'w ceffylau bori, heb ffrwynau yn eu pennau, tra fyddent yn ymlenwi eu hunain; ar ba ryw anifeiliaid y rhuthrai yr Iuddewon allan yn gyrph cyfain, ac a'u dygent ymaith. Ac wedi parhau i wneuthur y modd yma, a Cæsar yn credu, yr hyn oedd wir, fod y meirch wedi eu dwyn ymaith trwy esgeulusdra ei wŷr ei hun, yn fwy na thrwy nerth yr Iuddewon; fe ymroddodd i arfer mwy llymder i wneuthur i eraill ofalu am eu meirch. Felly fe orchymmynodd i un o'r milwyr a gollasent eu meirch gael ei gospi â marwolaeth: trwy'r hyn y dychrynwyd eraill gymmaint, fel y cadwasant eu meirch yn yr amser canlynol. Canys ni adawsant yn hwy iddynt fyned oddiwrthynt, i bori wrthynt eu hunain: ond a aent yn wastad gyd â hwynt pan fyddai eisiau ymborth arnynt. Fel hyn y darfu i'r Rhufeiniaid barhau i wneud rhyfel yn erbyn y deml, a chyfodi eu bryncynnau gogyfer â hi.

Yn awr wedi i un dydd fyned heibio yn ol i'r Rhufeiniaid esgyn i rwygiad y mur, llawer o'r ymbleidwyr ydoedd wedi gwasgu arnynt mor bell gan y newyn, trwy fethiant presennol eu hyspail, fel y daethant ynghyd, ac y gwnaetdant ymosodiad ar warchawdlu y Rhufeiniaid ag oedd ar fynydd yr Olewydd; a hynny y'nghylch yr unfed awr ar ddeg o'r dydd. Gan feddwl na ddisgwylient y fath ymosodiad; ac, yn y lle nesaf, y byddent y pryd hwnnw yn gorphwys eu hunain, ac y gallent yn haws eu gorchfygu hwynt. Ond y Rhufeiniaid a wybuasant am eu dyfodiad i'w gorddiwes hwynt ym mlaen llaw: a chan redeg ynghyd o'r gwersylloedd cymmydogaethol gyd â brys, rhwystrasant hwynt i ddyfod tros derfynau eu hamddiffynfeydd, neu ddadymchwel y mur a wnaethid o'u hamgylch. Ar hyn digwyddodd i ymladdfa danbaid gymmeryd lle. Ac yma llawer o orchestion mawrion a wnaethpwyd ar bob ochr: tra'r oedd y Rhufeiniaid yn amlygu eu cefnogrwydd a'u cyfarwyddyd mewn rhyfel: ac hefyd y daeth yr Iuddewon ym mlaen gyd â thrais anghymmedrol, a llidiowgrwydd annioddefol. Un blaid a wnaethpwyd i yrru ymlaen gan gywilydd, a'r llall gan angenrheidrwydd. Canys fe ymddangosai yn beth tra chywilyddus gan y Rhufeiniaid adael i'r Iuddewon ddiangc, wedi eu cymmeryd yn awr mewn math o rwyd: pan nad oedd gan yr Iuddewon ond un gobaith o achub eu hunain; a hynny oedd os gallent dorri trwy fur y Rhufeiniaid. Ac un, enw yr hwn oedd Pedanius, yn perthyn i blaid o wŷr meirch, wedi darfod eisoes guro yr Iuddewon, a'u cydyrru i lawr i'r dyffryn, a yspardunodd ei farch ar ystlys eu byddin yn dra thanbaid, ac a gymmerodd i fynu ddyn ieuangc nerthol, yr hwn oedd yr perthyn i'r gelyn, gerfydd ei figwrn, fel yr ydoedd yn ffoi ymaith: mor isel a hynny y plygodd Pedanius oddiar ei farch, pan ydoedd ar redfa bedwar carnol; ac mor rymmus oedd ei ddeheulaw, a rhannau eraill ei gorph, ynghyd â'i gyfarwyddyd fel marchogwr. Felly y dyn hwn a oddiweddodd ei ysglyfaeth, ac a ymaflodd ynddo fel trysor gwerthfawr, ac a'i dygodd fel ei gaeth-was at Cæsar. Ar yr hyn y rhyfeddodd Titus wrth y dyn a oresgynasai y llall, o blegid ei gryfder: ac a orchymmynodd i'r dyn a ddaliasid gael ei gospi â marwolaeth, am ei ymosodiad ar fur y Rhufeiniaid. Yna yr aeth ei hun i warchae ar y deml, ac i yrru ymlaen gyfodiad y bryncynnau.

Yn y cyfamser yr Iuddewon ydoedd wedi cyfyngu arnynt mor fawr trwy'r ymladdfeydd y buasent ynddynt, pan y nesaodd y rhyfel at y tŷ sanctaidd, fel ag yr oeddynt megis wedi torri ymaith y cymmalau hynny o'u corph ag oedd a llwgr ynddynt, mewn trefn i ragflaenu yr afiechyd rhag ymdaenu ymhellach. Canys hwy a osodasant ystafell-dŷ y gogledd-orllewin, ag oedd yn cyssylltu â thŵr Antonia, ar dân; ac ar ol hynny a dorrasant ymaith ynghylch ugain cufydd o'r ystafell-dŷ hwnnw; a thrwy hynny a wnaethant ddechreuad o losgi y cyssegr. Ym

mhen y ddeuddydd ar ol hyn, neu ar y pedwerydd dydd ar hugain o'r mis rhag-ddywededig, sef Panemus neu Tamuz, y Rhufeiniaid a osodasant ar dân yr ystafell-dy a gyssylltodd â'r llall; pan yr aeth y tân bymtheg cufydd ymhellach. Yr Iuddewon yr un modd a dorrasant ymaith ei gronglwydydd. Ac ni adawsant o'r neilldu yn llwyr yr hyn oeddynt yn ei gylch nes gwahanu tŵr Antonia oddiwrth y deml; ïe, pan y gallasant ddiffodd y tân. Ië, hwy a arosasant yn llonydd pan osodasid y deml gyntaf ar dân; gan gyfrif yr ymdaeniad yma o'r tân megis er eu mantais eu hunain. Pa fodd bynnag, y byddinoedd oeddynt etto yn ymladd y naill yn erbyn y llall o amgylch y deml; a threfn y rhyfel ydoedd trwy ruthrau gwastadol y gwahanol bartion yn erbyn eu gilydd.

Yr ydoedd y pryd hwn ddyn ym mysg yr Iuddewon o edrychiad dirmygus, ac yn fyr o gorpholaeth, heb un hynodrwydd perthynol iddo o ran ei dylwyth, neu mewn modd arall. Ei enw oedd Jonathan. Efe a aeth allan wrth gôf-golofn Ioan yr archoffeiriad, ac a lefarodd amryw bethau trahaus wrth y Rhufeiniaid, gan gymmell y goreu o honynt i ymladd law-law. Ond llawer o'r rhai a safent yno yn y fyddin a'i dwrdiasant ef; ac amryw o honynt (megis ag y gallasent) oedd yn ei ofni ef. Rhai o honynt hefyd a ymresymodd fel hyn, Nad oedd gymmwys i ymladd â dyn ag oedd yn chwennych marw; o herwydd fod y rhai oedd yn hollol anobeithio am waredigaeth, a chanddynt, heblaw eu llidiowgrwydd meddwl, y fath ffordd chwyrnwyllt o ymosod ar ddynion, na ellid ei gwrthwynebu; ac nad oedd barch ganddynt i Dduw ei hun: ac i ddyn beryglu ei hun gyd â'r fath berson, yr hwn, er ei orchfygu, ni chyfrifir yn beth mawr; a chan yr hwn y mae'n beryglus rhag cymmeryd un yn garcharor, a fyddai yn arwydd nid o ddynol wroldeb, ond eithaf byrbwyllder. Felly gan na ddaethai neb allan yn gyfattebol i wahoddiad y dyn; ac â'r Iuddew yn eu difrio hwynt â llawer o waradwyddiadau, fel rhai di-galon, (canys yr ydoedd yn ddyn trahaus o ran ei dymmer, ac yn ddirmygwr mawr o'r Rhufeiniaid:) un a'i enw Pudens, o gorph y gwŷr meirch, ar gyfrif ffiaidd ymadroddion y llall, a'i ddigywilydd-dra yn y cwbl; ac ysgatfydd oddi ar ddiystyrwch o waelder ac isder corphorol y cablwr, a redodd allan atto, ac a fuasai ry galed iddo, pe na fradychid ef gan ddrwg-ffortun. Canys efe a syrthiodd i lawr: ac fel yr ydoedd ar lawr, Jonathan a redodd atto, ac a dorodd ei wythi; a chan sefyll ar ei gorph marw fe ysgydwodd ei gleddyf, er mor waedlyd ydoedd; gan siglo ei darian â'i aswy law, a gwneuthur amryw floeddiadau; gyd ag ammharch i'r dyn marw, a gwatwor y Rhufeiniaid. Nes o'r diwedd i un Priscus, canwriad, saethu piccell atto, fel yr oedd yn neidio ac yn ymffrostio, a thrwy hynny fe'u gwanwyd ef trwyddo.

Ar yr hyn y gosodwyd i fynu waedd gan yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid, er mai ar wahanol achos. Felly Jonathan a gollodd ei wybodaeth trwy'r boen o'i archollion, ac a syrthiodd i lawr ar gorph ei wrthwynebwr yn farw: yr hyn oedd arwydd amlwg pa mor fuan y dichon dialedd ddyfod ar ddynion a lwyddo mewn rhyfel, heb fod yn haeddianol o'r cyfryw lwyddiant.

## PENNOD III.

*Ymherthynas i ddyfais ddichellgar yr Iuddewon trwy ba un y llosgwyd amryw o'r Rhufeiniaid; gyd â descrifiad pellach o'r newyn dychrynllyd oedd yn y ddinas.*

YN awr yr ymbleidwyr ag oedd yn y deml a geisiasant yn amlwg bob dydd guro ymaith y milwyr oedd ar y bryncynnau: ac ar y seithfed dydd ar hugain o'r mis Panemus neu Tamuz, a ddyfeisiasant y ddichell ganlynol. Hwy a lanwasant y rhan hynny o'r 'stafell-dŷ gorllewinol, yr hyn ydoedd rhwng y swmmerau, a'r gronglwyd oddi tanynt â sychwydd, ynghyd â phŷg; ac yna a giliasant ymaith o'r lle, fel pe buasent wedi blino â'r llafur a gymmerasent. Wedi pa ryw weithred, amryw o rai mwyaf annarbodus ym mysg y Rhufeiniaid, ag a ddygid ymaith gan fyrbwylldra, a ddilynasant yn agos ar eu hol, fel yr oeddynt yn encilio, gan osod ysgolion ar yr ystafell-dŷ, a dringo iddo yn ddisymmwth. Ond y rhai mwyaf pwyllog o honynt, wedi deall am enciliad annirnadwy yr Iuddewon, a arosasant yn llonydd lle yr oeddynt o'r blaen. Pa fodd bynnag yr ystafell-dŷ oedd lawn o'r rhai a aethent i fynu ar yr ysgolion: ar ba amser yr Iuddewon a'i gosodasant oll ar dân. Ac

fel y torodd y fflam allan ym mhob cwrr yn ddisymmwth, y Rhufeiniaid ag oedd allan o'r perygl a oddiweddwyd â dychryn mawr; megis yr oedd y rhai ag oedd ynghanol y perygl mewn cyfyngder eithaf. Felly pan welsent eu hunain wedi eu hamgylchu gan y tân, rhai a fwriasant eu hunain i lawr y tu cefn i'r adeilad i'r ddinas, a rhai i fysg eu gelynion yn y deml: megis y darfu i amryw neidio i lawr at eu gwŷr eu hunain, a thorrasant eu cymhalau yn chwilfriw. Ond nifer mawr o rai a fwriadasant hyn a ragflaenwyd gan y tân, pan geisiai eraill rwystro y tân ym mlaen â'u cleddyfau. Pa fodd bynnag, fe dreiddiodd y tân ar fyr mor bell, ag i amgylchynu y rhai a fynnasent mewn modd arall ddifetha eu hunain. Am Cæsar ei hun, ni's gallai amgen na thosturio oblegid y rhai a ddifethwyd y modd yma, er dringo o honynt i fynu yno heb un gorchymmyn i wneuthur hynny, gan nad oedd un ffordd i'w cynnorthwyo hwynt. Etto'r oedd hyn yn beth cysur i'r rhai a ddifethwyd, y gallent weled pob un o honynt hwy, er mwyn pa rai y daethant i'w diwedd, yn gofidio o'u herwydd. Canys efe a lefodd allan yn gyhoeddus arnynt, gan lammu, ac annog y rhai oedd o'i amgylch, i wneud a allent i'w cynnorthwyo hwynt. Felly pob un o honynt a ymdrechodd i farw yn gyssurus, gan gymmeryd gyd â hwynt yr ymadroddion, a'r amcanion hyn o eiddo Cæsar yn feddrodawl gôf-golofn. Rhai ydoedd o honynt yn wir a giliasant ar fur yr ystafelldŷ, yr hwn ydoedd lydan, ac a gedwid rhag y tân, ond yna a amgylchwyd gan yr Iuddewon; ac er gwneuthur o honynt wrthwynebiad i'w herbyn tros hir amser, etto hwy a archoilwyd ganddynt, ac o'r diwedd a syrthiasant oll i lawr yn feirwon.

O'r diwedd dyn ieuangc yn eu mysg, yr hwn oedd â'i enw Longus, a ddaeth yn addurn o'r trist amgylchiad hwn: a phan oedd pob un o'r rhai a ddifethwyd yn haeddiannol o goffadwriaeth, y dyn hwn a ymddangosodd yn ei haeddu uwchlaw'r cwbl. Yr Iuddewon a ryfeddasant tu ag atto am ei galondid, ac oeddynt ymhellach yn ewyllysio ei ladd ef. Felly hwy a'i perswadient i ddyfod i lawr attynt, ar sicrwydd o ganiattâu iddo ei fywyd. Ond brawd Cornelius a'i perswadiodd ef i'r gwrthwyneb, nid i ddiwyno eu clod eu hunain, na'r eiddo'r fyddin Rufeiniaid. Cydsynio a wnaeth â'r cyngor diweddaf hwn; a chan ddyrchafu ei gleddyf i fynu o flaen y ddwy fyddin, fe laddodd ei hun. Etto'r ydoedd un Artorius ym mhlith y rhai a amgylchid gan y tân, a ddiangodd trwy gyfrwysedd. Canys efe â llais uchel a alwodd atto Lucius, un o'i gyd-filwyr, a orweddai gyd ag ef yn yr un babell; ac a ddywedodd wrtho, "Myfi a'th adawaf yn etifedd yr hyn oll a feddwyf, os deui, a'm derbyn i." Ar hynny y dyn a ddaeth gan redeg i'w dderbyn ef gyd â pharodrwydd. Yna Artorius a fwriodd ei hun i lawr arno ef, ac a achubodd ei fywyd ei hun; pan y darfu i'r hwn a'i derbyniodd gael ei daro mor drwm ynghyd a'r palmant cerrig, trwy bwys y llall, fel y bu farw yn y fan. Y ddamwain alaethus hon o ddringo i'r ystafelldy a ofidiodd y Rhufeiniaid tros ennyd o amser: ond etto fe'u dododd ar fwy o wyliadwriaeth rhagllaw; ac a fu yn ocheliad iddynt rhag twyll a ffugiant yr Iuddewon; trwy'r hyn y niweidiwyd hwy yn fawr, o herwydd eu hanwybodaeth o'r mannau o amgylch, a natur y trigolion. Yn awr yr ystafelldŷ hwn a losgwyd i lawr mor bell a thŵr Ioan, yr hwn a wnaethai yn amser ei ryfel â Simon, gyferbyn â'r porth oedd yn arwain i'r Xystus. Yr Iudddewon hefyd a dorasant ymaith weddill yr ystafelldŷ hwnnw oddi wrth y deml, ar ol difetha o honynt y rhai a ddringasai iddo. Ond y dydd nesaf y Rhufeiniaid a losgasant i lawr yn llwyr ystafelldŷ'r gogledd, mor bell â'r ystafelldŷ dwyreiniol; congl gyffredinol pa un a gyssylltid â dyffryn Cedron, ac a adeiladwyd uwchlaw iddo: ar ba gyfrif y dyfndwr a welid yno ydoedd ddychrynllyd. A thyma oedd sefyllfa'r deml y pryd hwnnw.

Yn awr o'r rhai a ddifethwyd gan y newyn yn y ddinas y rhifedi ydoedd yn aneirif, a'r trueni yr aethant tano oedd yn annhraethadwy. Canys os byddai ond i gymmaint a chysgod rhyw fath o luniaeth ymddangos yn un man, dechreuid rhyfel o'i blegid yn ddioed;a'r cyfeillion anwylaf a ymladdent o'i amgylch;gan gippio oddiar eu gilydd, ac ymryson am yr hyn oedd wael gynhaliaeth bywyd. Ac ni chredai dynion fod y rhai oedd yn meirw heb ddim lluniaeth ganddynt; ond yr yspeilwyr a'u chwilient hwy pan fyddent yn trengu; rhag bod rhai yn cuddio bwyd yn eu mynwesau, ac yn unig yn dynwa-

red marw. Ie'r yspeilwyr hyn, gan ddylyfu gên o eisiau, a redent o amgylch fel cŵn cynddeiriogion; gan ogwyddo o'r naill ochr i'r llall trwy wendid, fel dynion meddwon, a rhoddi eu pwys ar ddrysau'r tai; i amryw o ba rai y rhuthrent hefyd i mewn ddwywaith neu deirgwaith yn yr un dydd. Ymhellach eu chwant bwyd ydoedd mor danbaid ac annioddefol, ag y parodd iddynt gnoi pob peth; pan y casglent ac y bwyttaent y fath bethau na chyffyrddid â hwynt gan greaduriaid aflanaf. Ac nid ymarbedent ym mhen amser oddiwrth wregysau ac esgidiau: a'r lledr hefyd oedd ar eu tarianau a dynnasant ymaith ac a gnoiasant. Hefyd soppynau o hen wair a ddaeth yn ymborth i rai; ac eraill a gasglent fanwythi, neu fath o afon-frwyn; y rhai a werthent bwysau bychain am * bedair attic drachmæ. Ond paham y descrifiaf y digywilydd-dra anocheladwy a ddygodd y newyn ar ddynion, trwy wneud iddynt ymborthi ar bethau difywyd? pan wyf yn myned i adrodd gweithred, na cheir ei chyffelyb mewn † hanes am bethau ym mhlith y Groegiaid na'r Barbariaid. Buaswn yn wir yn ewyllysgar yn gadael o'r neilldu grybwyll y cyfyngder anghydmarol hwn o'r eiddom', fel nad ymddangoswn yn traddodi pethau mor ddaroganllyd i hiliogaeth; ond ar gyfrif fod gennyf aneirif dystion o hono yn fy oes fy hun. Ac heblaw hynny ni buasai gan fy ngwlad ond rheswm bychan i ddiolch i mi am gelu y trueni yr aeth tano yn yr amser hwn.

Yr oedd rhyw wraig a'i henw Mary, yn aros tu hwnt i'r Iorddonen; ei thad ydoedd Eleazar, o'r pentref Bethezob; yr hwn a arwydda Tŷ-Isop. Yr ydoedd yn enwog o ran ei theulu a'i chyfoeth; a hi a ffoisai ymaith i Jerusalem gyd ag eraill o'r lliaws, ac ydoedd wedi gwarchae arni yno yr amser hwn. Meddiannau eraill y wraig hon a oresgynasid o'r blaen; yr hyn, yr wyf yn ei feddwl, a ddaeth ganddi o Perea, ac a symmudasid i'r ddinas. Yr hyn a drysorasai i fynu heblaw hynny, megis y lluniaeth hefyd a gadwasai, a ddygwyd ymaith gan y gwarcheidwaid rheibus, y rhai a redasant yn feunyddiol i'w thŷ i'r pwrpas hwnnw. Hyn a ddododd y wraig druan tan derfysg mawr; a thrwy'r gwaradwyddiadau a'r melldithion a fwriodd ar y dihirwyr rheibus, hi a'i cythruddodd i ddigter yn ei herbyn. Ond ni ddarfu i neb o honynt, oddiar y digter a barasai ynddynt tu ag atti, neu trwy dosturi wrth ei chyflwr, gymmeryd ymaith ei bywyd. Ac os deuai o hyd i ryw luniaeth, hi welodd fod ei llafur tros eraill, ac nid trosti ei hun: ac yr ydoedd yn awr wedi dyfod yn ammhosibl iddi trwy un ffordd gael ychwaneg o gynhaliaeth, tra'r oedd y newyn yn treiddio trwy ei hymysgaroedd a mêr ei hesgyrn. Pan ydoedd tymmer ei natur hefyd wedi ei thanio tu hwnt i'r newyn ei hun; ac nid ymdeimlodd â dim ond hynny, a'r eisiau yr ydoedd ynddo. Yna hi gynhygiodd ar weithred fwyaf gwrthwyneb i natur:a chan gippio ei phlentyn ag oedd yn sugno ar ei bron, hi ddywedodd, "O tydi fy maban truenus! i bwy y cadwaf di yn y rhyfel, y newyn, a'r ymryson presennol? Am y rhyfel â'r Rhufeiniaid, os cadwant ni yn fyw, byddwn yn gaethion iddynt. Y newyn hwn hefyd a'n difetha, cyn y del y caethiwed hwnnw arnom. Etto'r ymbleidwyr dihir yma ydynt waeth na'r lleill ynghyd. Gan hynny bydd di yn ymborth i mi, a bydd yn gynddaredd at y diffeithwyr terfysglyd, ac yn ddiareb i'r byd, yr hyn oll sydd yn eisiau yn awr i gwblhau trallodion yr Iuddewon." Cyn gynted ag y dywedodd hyn hi laddodd ei mab, ac wedi hynny y rhostiodd ef, ac y bwyttaodd ynghylch ei hanner, a chadwodd ynghylch yr hanner arall yn guddiedig. Ar hyn yr ymbleidwyr a ddaethant i mewn yn ebrwydd: a chan wyntio arogl yr ymborth hwn, bygwthiasant dorri ei gwythi yn y fan, os na ddangosai iddynt pa ryw luniaeth a arlwyasai. Hi attebodd ddarfod iddi

* Un sicl.

† Yr hyn y mae Josephus yn ei sylwi yma, nad oedd un siampl gymmariaethol wedi cael ei hadrodd cyn ei amser ef o'r fath warchaedigaethau, ym mha un y gorfyddodd i famnau, trwy eithaf newyn, ymborthi ar eu plant eu hunain, fel y bygwthiasid yr Iuddewon â hynny ynghyfraith Moses, ar eu cyndyn anufudd-dod, ac a gyflawnwyd fwy nag unwaith, a olygir gan Dr. Hudson ag iddo ddau neu dri o gyffelyb siamplau mewn oesoedd diweddarach. Gallasai gael ychwaneg o siamplau, debygaf, oddiwrth ddynion ar fwrdd llongau, neu mewn ynys o ddiffeithwch, yn bwrw coel-brenau am gyrph eu gilydd. Ond hynny oll a ddigwyddodd yn unig mewn amgylchiadau na wyddent am un ffordd arall trwy'r hon yr oedd yn bosibl iddynt ddiangc rhag marw eu hunain, trwy ladd ac ymborthi ar eraill. Pa un a ydoedd y fath siamplau yn cyfatteb i'r un bresennol sydd yn amheus. Y Rhufeiniaid oeddynt nid yn unig yn ewyllysgar, ond yn dymuno caniattau i'r Iuddewon hyn yn Jerusalem eu bywydau a'u rhyddid. Ond y brwdtrydwyr yr yspeilwyr, a'r ymbleidwyr ni wrandawent ar ddim ammodau o ymostyngiad. Hwynt hwy o'u gwirfodd a ddewisasant ddwyn twng y dinasyddion i'r fath gyfyngder eithaf, ag i wneuthur i famnau arfer y creulondeb barbaraidd ac annaturiol hwn; pa un, yn er holl amgylchiadau, ni bu, fel y tybiaf etto, ei gyffelyb ym mhlith eraill o ddynolryw.

gadw rhan ddewisol o hono iddynt hwy: ac ar yr un pryd hi ddi-orchuddiodd yr hyn oedd yn weddill o'i mab. Ar hyn hwy a darawyd â dychryn ac â syndod; ac a safasant yn rhyfeddu wrth yr olwg: pan y dywedodd wrthynt, "Dyma fy mab fy hun; a'r hyn a wnaethpwyd oedd fy ngweithred fy hunan. Deuwch, cymmerwch o'r lluniaeth hwn; canys myfi a fwytteais o hono fy hun. Na chymmerwch chwi arnoch fod yn dynerach na merch, ac yn fwy tosturiol na mam. Ond os ydych chwi yn petruso ac yn ffieiddio fy aberth hwn; fel ag yr ymborthais ar un hanner, gadawer y gweddill i mi hefyd." Wrth y geiriau hyn y dynion a aethant allan dan grynu; heb gael eu dychrynu wrth un peth gymmaint erioed a hwn; a chyd â pheth anhawsdra hwy a adawsant weddill yr ymborth hwnnw i'r fam. Wedi hyn yr holl ddinas yn uniongyrch a lanwyd â'r weithred erchyll hon: a thra'r oedd pawb yn gosod yr amgylchiad truenus hwn o flaen eu llygaid, hwy a grynasant, fel pe gwnaethid y weithred anadnabyddus yma ganddynt eu hunain. Felly y rhai a gyfyngwyd arnynt y modd hwn gan y newyn, a ddymunent farw yn fawr; a'r rhai a fuasent feirw eisoes a gyfrifid yn ddedwydd, o herwydd na fuasent hwy byw ddigon o hyd i glywed am, neu weled y fath drueni.

Yr hanes athrist yma a wnawd yn fuan yn hyspys i'r Rhufeiniaid, yr hyn ni chredid gan rai o honynt; ac eraill a dosturient wrth y cyfyngder yr oedd yr Iuddewon ynddo. Ond amryw o honynt a feddiannwyd â chwerwach casineb tu ag at ein cenedl ni o'i herwydd. Ond am Cæsar, fe esgusododd ei hun ger bron Duw ymherthynas i'r mater, ac a ddywedodd, "Myfi a gynhygais heddwch i'r Iuddewon, ac anghof o'u holl ymddygiadau trahaus o'r blaen: ond hwynt hwy yn lle undeb a ddewisasant ymraniad; yn lle heddwch rhyfel; ac o flaen digonedd a llawnder, newyn. Hwy a ddechreuasant â'u dwylaw eu hunain losgi i lawr y deml a gedwais i hyd yma; ac am hynny hwy a haeddasant ymborthi ar y fath fwyd a hwn. Pa fodd bynnag, y weithred echrydus hon o fwytta eu plant eu hunain a ddylid ei dirgelu â dadymchweliad, hyd yn nod o'r wlad hon ei hun: ac ni ddylid gadael gan ddynion y fath ddinas ar y ddaear gyfanneddol i gael ei gweled gan yr haul, ymha un y porthir mammau yn y modd hwn, er bod y fath ymborth yn gymhwysach i dadau nag i fammau i'w arferyd: gan mai hwy sydd yn parhau mewn cyflwr o ryfel i'n herbyn, wedi myned o honynt tan y fath drueni a hwn." Ac ar yr un amser ag yr adroddodd hyn, efe a ddwys ystyriodd y cyflwr diobaith oedd raid i'r bobl hyn gael bod ynddo. Ac ni ddisgwyliodd y gellid adferyd y fath ddynion i feddwl pwyllog a sobr, ar ol dioddef y fath orthrymderau; er gocheliad o ba rai yr ydoedd yn unig yn bossibl iddynt ddychwelyd i edifeirwch.

## PENNOD IV.

*Am fynediad y gwarchae ym mlaen, a dinystriad y Tŷ-sanctaidd gan dân.*

YN awr dwy o'r llengau milwraidd a orphenasent eu bryncynnau, ar yr wythfed dydd o'r mis Lous, neu Ab. Ar yr hyn y gorchymynodd Titus am ddwyn y peiriannau dyrnodiol, a'u gosod gyferbyn ag adeilad orllewinol y deml dufewnol. Canys cyn dwyn yno y rhai hyn, yr offerynau cadarnaf eraill a gurasant y mur tros chwe diwrod ynghyd, heb wneuthur dim o'u hol arno. Ond maintioli anferth, a chyssylltiad cadarn y meini, ydoedd ry drech i'r offerynnau eraill, a'r peiriant dyrnodiol hefyd. Eraill o'r Rhufeiniaid yn wir a gloddiasant tan sylfeini porth y gogledd; ac, ar ol poen ddirfawr a symmudasant feini allanol y seiliau: etto y porth a gynhelid i fynu gan y sylfeini tufewnol, heb ei niweidio; nes i'r gweithwyr, trwy anobeithio dwyn i ben eu hamcan â'r peiriannau, ddwyn ysgolion at yr ystafylldai. Yn awr ni rwystrodd yr Iuddewon i hynny: ond wedi dyfod o honynt i fynu, hwy a syrthiasant arnynt, ac a ymladdasant â hwynt. Rhai o honynt a wthiasant i lawr, ac a'u bwriasant trosodd y tu cefn bendramwnwgl. Eraill o honynt a gyfarfuasant ac a laddasant. Ergydiasant hefyd ar amryw o'r rhai a aethaet i lawr ar hyd yr ysgolion drachefn, gan eu brathu â'u cleddyfau cyn gallu o honynt ddwyn eu tariannau i'w hamddiffyn: ïe, rhai o'r ysgolion a droesant, wrth ymaflyd yn eu cwrr uchaf, pan oeddynt lawn o wŷr arfog arnynt. Lladdfa fawr hefyd a wnaethpwyd ar yr Iuddewon yr un amser; tra'r oedd y rhai a ddygai 'r banerau yn ymladd yn dynn trostynt: gan ei gyfrif yn beth ofnadwy,

a'r hyn a dueddai i'w cywilyddio yn fawr, os gadawent i'r rhai hynny gael eu cymmeryd ymaith. Etto'r Iuddewon o'r diwedd a feddianasant y banerau, ac a ddinystriasant y rhai a ddringasai 'r ysgolion; pan y darfu i'r lleill gael eu gwanychu mor fawr trwy'r hyn a ddioddefodd y rhai hynny a laddwyd, fel y ciliasant ymaith. Er na fu farw neb o'r Rhufeiniaid cyn gwneuthur o honynt wasanaeth da i'r achos. Am yr ymbleidwyr y rhai a ymladdasant yn ddewrwych yn y brwydrau o'r blaen, a wnaethant y cyffelyb yn awr: megis, heblaw y rhai hynny, y gwnaeth Eleazar, mab brawd Simon y gorthrymwr. Ond pan ganfu Titus fod ei ymdrechiadau i achub teml ddieithriol, yn troi er niweid i'w filwyr ei hun, ac yn achos o ddarfod eu lladd hwynt, fe roddes orchymmyn i osod y pyrth ar dân.

Yn y cyfamser ciliasai atto Ananus, yr hwn a ddaethai o Emmaus, yr un mwyaf gwaedlyd o holl warchawdlu Simon; ac Archelaus, mab Magadatus; a hwy yn gobeithio etto y maddeuid iddynt, am adael o honynt yr Iuddewon pan oeddynt yn orchfygwyr. Titus a wrthddywedodd hyn yn erbyn y dynion yma, gan ei gyfrif i'w cyfrwysdra. Ac megis yr hysbysid iddo am eu creulonderau yn erbyn yr Iuddewon, yr ydoedd yn myned gyd â brys i beri eu lladd hwynt. Efe a ddywedodd wrthynt, "Ddarfod eu gyrru i wneuthur yr enciliad hwn gan y cyfyngder yr oeddynt ynddo, ac na ddaethant ymaith o ddaioni eu tueddiad. Ac nad oedd y rhai hynny yn haeddu eu harbed trwy y rhai y gosodid eu dinas eu hunain eisoes ar dân; o ba ryw dân y ciliasant ar frys, ac y daethant ymaith." Pa fodd bynnag, y sicrwydd a addawasai i encilwyr a orchfygodd ei ymddial, ac efe a'u danfonodd ymaith yn ganlynol: er na chaniattaodd iddynt yr un rhagorfreintiau ag i eraill. Ac yn awr y milwyr a osodasent y pyrth eisoes ar dân. A'r arian a wisgasid trostynt yn fuan a barodd i'r tân ennyn yn y coed ag ydoedd y tu fewn: oddi yno ymdaenodd ei hun yn ddisymmwth, ac a ymaflodd yn yr ystefyll-dai. Ar yr olwg o'r tân yn eu hamgylchu hwynt fe suddodd ysprydoedd yr Iuddewon ynghyd â'u cyrph; ac yr oeddynt tan y fath syndod, fel na wnaeth un o honynt frys i'w amddiffyn ei hun, nac i ddiffodd y tân; ond a safasant fel edrychwyr mudion. Pa fodd bynnag nid oeddynt yn gofidio gymmaint oblegid yr hyn oedd yn awr yn llosgi, ag i dyfu yn ddoethach tros yr amser i ddyfod: Ond gan fod y tŷ sanctaidd eisoes wedi bod ar dân, hwy a awchlymasant eu tymherau yn erbyn yr Rhufeiniaid. Y tân yma a barhaodd i fyned ym mlaen tros y dydd hwnnw, a'r nesaf hefyd. Canys nis gallai'r milwyr losgi yr holl ystefylldai ydoedd o amgylch ar yr un amser, ond bob yn rhan yn unig.

Ar y dydd nesaf, Titus a orchymynodd i rai o'r fyddin hon ddiffodd y tân, ac i wneuthur ffordd rwyddach i'r llengau ddyfod ym mlaen; tra'r oedd efe ei hun yn casglu ynghyd y blaenoriaid. O'r rhai hyn yr ymgynhullodd y chwe prif flaenor; Tiberius Alexander, y nesaf at y penciwdawd, gyd a Sextus Cerealis, llwydd y bummed lleng; Larcius Lepidus, blaenor y ddegfed lleng; Titus Frigius, arweinydd y bymthegfed lleng. Yr ydoedd gyd â hwynt Eternius, arweinydd y ddwy leng, a ddaethent o Alexandria, a Marcus Antonius Julius, rhagllaw Judea. Ar ol y rhai hyn y daeth hefyd ynghyd eraill o'r rhaglawiaid a'r tribuniaid. Titus a ymgynghorodd â'r rhai hyn am y peth a wnaent i'r tŷ sanctaidd. Yn awr, rhai o honynt a feddyliodd, mai'r ffordd oreu fyddai gwneuthur yn ol rheolau rhyfel trwy ei ddadymchwel: oblegid na adawai'r Iuddewon fyth heibio wrthryfela, tra y safai'r tŷ hwnnw; ym mha dŷ yr arferent ymgrynhoi ynghyd. Eraill ydoedd o'r tŷb, os gadewid ef gan yr Iuddewon, heb i neb o honynt osod i fynu eu harfau ynddo, y gallai ei achub: ond os ymgasglent yno drachefn, ac ymladd ychwaneg, y gallai ei losgi ef; oblegid na byddai mwy i'w olygu fel tŷ sanctaidd, ond fel twr neu gastell: ac y byddai i'r ddrwg-weithred o'i losgi yn berthynol i'r rhai a fuasai yn achos o wneuthur hynny, ac nid iddynt hwy. Ond Titus a ddywedodd, "Er ped esgynai'r Iuddewon ar y tŷ sanctaidd hwnnw, ac ymladd â ni oddi yno, etto na ddylem ni ddial ein hunain ar bethau difywyd, yn lle ar y dynion eu hunain." Ac fe chwanegodd, nad ydoedd efe mewn un modd am ddifa y fath waith ëang ag ydoedd hwnnw; o herwydd y byddai hynny o niweid i'r Rhufeiniaid eu hunain: yn amgen y tŷ a fyddai yn addurn o'u llywodraeth. Felly

Fronto, Alexander, a Cerealis oeddynt gryfion o blaid yr ymresymiad hwn, ac a gyttunasant â barn Cæsar. Yna ygwahanwyd yr ymgynhulliad hwnw; wedi'r hyn y rhoddes Titus orchymmyn i'r blaenoriaid, a'r fod i eraill o'r lluoedd aros yn llonydd; ond iddynt wneuthur defnydd o'r rhai dewraf ar yr achos hwn. Felly fe orchymmynodd i wŷr dewisedig wedi eu cymmeryd allan o'r Cohortiaid wneuthur eu ffordd trwy'r adfeiliau i ddiffodd y tân.

Ar y dydd hwn yr oedd yr Iuddewon mor lluddiedig, a than y fath ddychryn, ag yr ymattaliasant oddiwrth bob ymosodiadau. Ond y diwrnod ar ol hynny hwy a gasglasant eu holl luoedd ynghyd, ac a redasant ar y rhai a wylient gyntedd allanol y deml yn dra nerthol trwy borth y dwyrain; a hyn ynghylch yr eilfed awr o'r dydd. Y gwylwyr hynny a wrth-safasant eu hymosodiad gyd â gwrolder mawr; a thrwy orchuddio eu hunain â'u tariannau o'r blaen, megis pe buasai fur, hwy a dynnasant eu byddin bedwar ochrog yn agos i'w gilydd. Etto fe amlygwyd na allent aros yno yn dra hir; ond y gorchfygid hwynt gan liaws y rhai a ruthrent allan arnynt, a chan boethder eu tymherau. Pa fodd bynnag, Cæsar yn canfod, o dwr Antonia, y fyddin bedair-ochrog hon yn debyg o orfod cilio, a ddanfonodd rai gwŷr meirch dewisol i'w cynnorthwyo hwynt. Ar hyn yr Iuddewon a ganfuant eu hunain yn analluog i'w gwrthsefyll hwynt: ac wedi lladd y rhai blaenaf o honynt, llawer o'r lleill a ddodwyd ar ffo. Ond fel yr oedd y Rhufeiniaid yn ymadael ymaith, yr Iuddewon a droesant yn eu gwrthol, ac a ymladdasant â hwynt. Ac megis y daeth y Rhufeiniaid hynny yn ol ar eu gwarthaf, hwy a giliasant drachefn; hyd ynghylch y bummed awr o'r dydd, pa amser y gorchfygasid hwynt, ac y cauasant eu hunain i fynu ynghyntedd tu fewnol y deml.

Felly Titus a giliodd i dŵr Antonia; ac a ymroddodd i gymmeryd y deml trwy drais, y bore nesaf, gyd â'i holl fyddin; ac i wersyllu o amgylch y tŷ sanctaidd. Ond ymherthynas i'r tŷ hwnnw, Duw yn sicr a'i barnodd, er's hir amser, i gael ei ddifa gan dân. Ac yn awr y dydd enbyd hwnnw a ddaethai i ben, wedi amryw gyfnewidiau'r oesoedd. Ar y * degfed dydd o'r mis Lous neu Ab, y difawyd y deml gynt gan frenin Babilon trwy dân. Eithr y tân presennol a gafodd ei ddechreuad oddi wrth yr Iuddewon eu hunain, fel rhai a fu'n achos o hono. Canys ar ddychweliad Titus ymaith, yr ymbleidwyr a arosasant yn llonydd tros ychydig amser, ac yna a oddiweddasant y Rhufeiniaid drachefn; pan y darfu i'r rhai a wylient y tŷ sanctaidd ymladd â'r rhai a ddiffoddent y tân oedd yn difa cyntedd tufewnol y deml. Ond y Rhufeiniaid hyn a ddodasant yr Iuddewon i ffoi, ac a aethant mor bell â'r tŷ sanctaidd ei hun. Ar yr hyn un o'r milwyr, heb aros wrth orchymmyn, ac heb ofal neu ofn arno ynghylch gweithred mor fawr: ac wedi cael ei yrru yn fyrbwyll gad ddwyfol gynddaredd ym mlaen, fe gippiodd ryw beth allan o'r defnyddiau oedd yn llosgi: ac wedi ei godi i fynu gan filwr arall, fe osododd ffenestr euraidd ar dân, trwy ba un yr oedd mynedfa i'r ystafelloedd ag oedd o amgylch ogylch y tŷ sanctaidd, ar yr ochr ogleddol iddo. Fel yr oedd y fflam yn esgyn i fynu, yr Iuddewon a wnaethant gynnwrf mawr, y fath ag oedd y cyfryw drallod yn ei ofyn, gan gyd-redeg i'w ragflaenu. Ac yn awr ni arbedent eu bywydau ddim yn hwy; ac ni adawsant i un peth attal eu hymdrechiad, gan fod y tŷ sanctaidd yn cael ei difetha, er mwyn pa un y cadwent y fath wyliadwriaeth o'i amgylch.

Yn awr rhyw un a ddaeth ar ei redeg at Titus, ac a fynegodd iddo am y tân hwn, pan ydoedd yn gorphwys yn ei babell, ar ol y frwydr ddiwaethaf: ar yr hyn y cyfododd gyd â brys mawr, ac a redodd i'r tŷ sanctaidd, mewn trefn i attal y tân. Ar ei ol ef yr aeth ei holl flaenoriaid, y rhai a ddilynwyd gan yr amryw lengau mewn syndod mawr. Felly cythrwfl mawr a wnaethpwyd, a therfysg a gyfododd, fel yr ydoedd yn naturiol, ar ymsymmudiad byddin mor liosog. Yna y darfu i Cæsar, trwy waeddi ar y milwyr oedd yn ymladd, â llais uchel; a thrwy roddi arwydd iddynt â'i ddeheulaw, eu gorchymmyn i ddiffod y tân. Ond ni chlywent hwy yr hyn a ddywedai, er llefaru o hono mor uchel: gan fod eu clustiau eisoes wedi eu byddaru gan fwy sŵn o ffordd arall. Ac ni ddaliasant sulw ar yr arwydd a wnaeth â'i law: gan fod rhai o

* Gwel Hynaf. X. 8. a'r Gosod. Apost. V. 20.

honynt wedi gwallgofi trwy ymladd, a chan nwydau eraill. Ond am y llengau a ddaethant ar redeg yno, ni allai ddim perswadiad na bygythiad attal eu trais hwynt: ond tanbeidrwydd ei dymmer ydoedd arweinydd pob un yr amser hwn. Ac fel yr oeddynt yn cyd-ymdyrru i mewn i'r deml, llawer o honynt a sathrwyd arnynt y y naill gan y llall; tra y darfu i nifer fawr syrthio ym mhlith adfeiliau'r ystefyll-dai ag oedd etto yn fyglyd a llosgadwy; y rhai a ddifethwyd yr un ffordd druenus â hwynt-hwy a orchfygwyd. Ac wedi dyfod yn agos at y tŷ sanctaidd, hwy a ymwnaethant fel pe buasent heb gymmaint a dyall archiadau Cæsar i'r gwrthwyneb: ond hwy a annogent y rhai blaenaf i'w osod ar dân. Am yr ymbleidwyr, yr oeddynt eisoes mewn gormod cyfyngder i roddi eu cynnorthwy tu ag at ddiffodd y tân. Hwy a leddid ac a gurid ym mhob cwrr. Ac am ran fawr o'r bobl, yr oeddynt yn weinion, ac heb arfau ganddynt; a thorrid eu gwythi pa le bynnag y delid hwynt. Yn awr o amgylch ogylch yr allor y gorweddai cyrph meirwon, wedi eu pentyrru ar eu gilydd; megis ar y* grisiau oedd yn myned i fynu atti, y llifeiriau'r gwaed yn fesurau mawr; i ba le hefyd y syrthiai'r cyrph a leddid uwchlaw ar yr allor.

Yn awr, gan na allai Cæsar trwy un ffordd attal cynddaredd gwallgofus y milwyr; ac â'r tân yn myned fwyfwy ym mlaen, fe aeth i mewn i'r lle sanctaidd yn y deml, gyd â'i flaenoriaid; yr hwn a gawsant lawn-olwg arno, ynghyd â'r cyfan oedd o'i fewn: yr hwn a gafodd ei fod ym mhell yn rhagori ar yr hyn a adroddid am dano gan ddieithriaid; ac nid islaw yr hyn a ddywedem ni, ac a gredem am dano. Ond fel yr oedd y fflam etto heb gyrraedd ei rannau tufewnol, ond a ydoedd o hyd yn difa'r ystafelloedd ag oedd yn unig o amgylch y tŷ sanctaidd; ac â Thitus yn meddwl y gellid etto achub y tŷ ei hun, fe ddaeth i fynu gyd â brys, ac a ymdrechodd i berswadio y milwyr i ddiffodd y tân; ac fe orchymynodd i Liberalius y canwriad, ac un o wŷr y gwaywffyn oedd o'i amgylch, i guro'r milwyr a fyddai'n ystyfnig â ffyn, a'u hattal hwynt. Etto'r oedd poethineb eu tymherau yn rhy drech i'r parch oedd ganddynt i Cæsar, a'r ofn oedd arnynt rhagddo ef yr hwn a waharddodd iddynt: megis hefyd yr oedd eu casineb at yr Iuddewon a math o dueddiad tanbaid i ymladd yn rhy galed iddynt hefyd. Ymhellach y gobaith o yspail a ddenodd lawer i fyned ym mlaen, megis yn tybied fod yr holl leoedd oddi mewn yn llawn o arian, wrth weled yr hyn oll oedd o'i amgylch a'u gwneuthuriad o aur. Ac heblaw hyn, un o'r rhai a aethent i mewn i'r lle a ragflaenodd Cæsar, pan y rhedodd efe allan gyd â'r fath frys i attal y milwyr; ac a fwriodd y tân ar gorddynau'r pyrth yn y tywyllwch. Y fflam yn awr a dorrodd allan o'r tŷ sanctaidd ei hun; pan yr aeth y cad-flaenoriaid ymaith, a Cæsar gyd â hwynt; a phryd na ddarfu neb yn hwy wahardd y rhai oddi allan rhag gosod tân wrtho. Ac fel hyn y llosgwyd i lawr y tŷ sanctaidd heb gydsyniad Cæsar.

Yn awr er y gallai y sawl a fynnai gyfiawn alaru am ddinystr y fath adeilad ag ydoedd hwn, gan ei fod yn rhyfeddaf o'r holl adeiladau a welsom neu a glywsom ni am dano, yn gystal oran ei gywreinwaith a'i ehangder; ac hefyd ar gyfrif y trysorau mawrion a osodasid i fynu ynddo, a'r gogoneddus barch oedd iddo ar gyfrif ei gyssegriad. Etto gallai'r cyfryw un gyssuro ei hunain â'r meddwl hwn, mai * tynghedfen a drefnasai i hynny fod: yr hon sydd yn anwrthwynebol; yn gystal ymherthynas i greaduriaid byw, ag i weithiau, a lleoedd hefyd. Pa fodd bynnag, ni all un amgen na ryfeddu wrth gydgyfattebiad yr amser pennodol ar ba un y digwyddodd: Canys yr un mis, a'r dydd o hono, fel y sylwiais o'r blaen, ydoedd ag y llosgwyd y tŷ sanctaidd gynt arno gan y Babiloniaid. Yn awr rhifedi y blynyddau a aethent heibio er ei sylfaeniad cyntaf gan y brenin Salomon, hyd y dinystr hwn, ag a ddigwyddodd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Vespasian, a gyfrifid eu bod yn un mil, un cant, a deg ar hugain, heblaw saith mis, a phymtheg o ddyddiau. Ac o'i ailadeiladiad, a gwblhawyd gan Haggai, yn yr eilfed flwyddyn i Cyrus y brenin, hyd ei ddinystriad tan Vespasian. yr ydoedd chwe chant,

* Y grisiau hyn ag oedd yn myned at allor y poeth-offrwm, a ymddengys yma yn ymadrodd amhriodol ac anghywrain gan Josephus; gan fod grisiau neu ddringfa ar ysgol yn anghyfreithlon. (Gwel Ddescrifiad y Temlau, pen. xiv, a'r nod ar Hynaf. IV. 8.) Neu ynte fod y grisiau a arferwn ni yn awr, wedi eu dyfeisio cyn dyddiau Herod y mwyaf; ac a adeiladid yma ganddo ef. Er bod yr Iuddewon diweddaraf yn wastadol yn ei wadu; gan haeru fod yr esgynfa i allor Herod ar hyd riw o dir yn unig. † Neu Ragluniaeth,

a phedair blynedd ar bymtheg ar hugain, a phump a deugain o ddyddiau.

## PENNOD V.

*Am y cyfyngdra mawr yr oedd yr Iuddewon ynddo wedi llosgi eu tŷ sanctaidd. Hefyd ymherthynas i gau-brophwyd, a'r arwyddion a rag-flaenodd y Dinystr hwn.*

TRA yr oedd y tŷ sactaidd ar dân, pob peth a gymmerwyd yn yspail ag a ddeuai i ddwylaw neb: a deng mil o'r rhai a ddaliwyd a laddwyd yn ddioed. Ac ni ddangoswyd tosturi tu ag at un oedran, na dim parch i'r enwog ar oedranus: ond plant, hen wŷr, offeiriaid, a'r rhai anfoesgar a leddid oll yr un modd. Felly y rhyfel hwn a gyrhaeddodd bob math od dynion, ac a'u dygodd i ddinystr: yn gystal y rhai a wnaent erfyniau am eu bywyd, a'r rhai a amddiffynnent eu hunain trwy ymladd. Y tân hefyd a gyrhaeddodd bellder o ffordd, ac a wnaeth sŵn dychrynllyd, gyd â gruddfanau a llefau y rhai a laddwyd. Ac o herwydd fod y mynydd neu yr bryn yn dra uchel, ar ba un y safai'r deml, a gwaith ei hadeiladaeth yn dra ehang, gallasai un feddwl fod yr holl ddinas ar dân. Ac ni's gall neb ddychymmygu un peth mor fawr ac ofnadwy â'r sŵn hwn. Canys yr ydoedd ar unwaith floedd y llengau Rhufeinig fel yr oeddynt oll yn cyd-ymsymmud; a chroch-lefain athrist yr ymbleidwyr, y rhai a amgylchid yn awr â thân ac â chleddyf. Y bobl hefyd a adawsid i fynu a gurid yn eu hol gan y gelyn, a than ofnau mawr: ac na wnaethant gwynfanau tost o herwydd y blinder yr oeddynt tano. Y lliaws oedd yn y ddinas a unasant mewn dolefain â'r rhai oedd ar y bryn. Ac heblaw hyn, llawer o'r rhai a wisgasid ymaith gan y newyn, a'u geneuau ynghylch yn gauedig, pan welsent dân y tŷ sanctaidd, a ymegniasant hyd eithaf eu nerth, ac a dorrasant allan i ruddfan a dolefain drachefn. * Perea hefyd a ddychwelodd yr adsain, yn gystal a'r mynyddau o amgylch y ddinas, ac a chwanegodd gryfdwr y trwst cyffredin. Etto'r oedd y trueni ei hun yn fwy arswydus na'r annhrefn yma. Canys fe allasai un feddwl fod y mynydd ei hun, ar ba un y safai'r deml, yn goch chwilboeth; megis yn llawn tân ym mhob cwrr o hono, a'r gwaed yn fwy mewn mesur na'r tân; lladdedigion yn amlach o rifedi na'r rhai a'u lladdent. Canys ni ymddangosai'r ddaear yn un man, gan gyrph meirwon oedd arni; ond y milwyr a aent tros gruglwythau o'r cyrph hyn yn eu rhedfa ar ol y rhai a ddiangent rhagddynt. Ac yn awr y bu ddarfod i'r lliaws yspeilwyr gael eu gyrru allan o gyntedd tufewnol y deml gan y Rhufeiniaid: a chawsant ymdrech nid bychan i fyned i'r cyntedd oddi allan, ac oddi yno i'r ddinas; tra'r oedd eraill o'r gwerin yn ffoi i ystafelldŷ y cyntedd allanol hwnnw. Ymherthynas i'r offeiriaid, rhai o honynt a gippiasant oddiwrth y tŷ sanctaidd y pigau † ag oedd arno, ynghyd a'u traed, y rhai a wnaethid o blwm; y rhai a ergydiasant, yn lle picellau, at y Rhufeiniaid. Ond fel na ynillasant ddim wrth hynny, ac fel yr oedd y tân yn torri trwodd attynt, hwy a giliasant ar y ‡ mur ag ydoedd yn wyth gufydd o led; ac yno'r arosasant. Etto darfu i ddau o'r rhai enwoccaf yn eu mysg, pa rai a allasent achub eu hunain trwy fyned trosodd at y Rhufeiniaid, neu ymgynnal i fynu yn galonog, a chymmeryd eu rhan gyd ag eraill fwrw eu hunain i'r tân, ac a gyd-losgwyd â'r tŷ sanctaidd. Eu henwau ydoedd Meirus, mab Belgas; a Joseph, mab Daleus.

Yn awr y Rhufeiniaid, yn barnu mai ofer ydoedd arbed unrhyw beth o amgylch y tŷ sanctaidd, a losgasant yr holl leoedd hynny, megis hefyd weddillion yr ystefylldai, ynghyd â'r pyrth, oddigerth dau o honynt: un ar du'r dwyrain, a'r llall ar y dehau: pob un o ba rai pa fodd bynnag, a losgasant ar ol hynny. Llosgwyd i lawr hefyd ganddynt ystafelloedd y drysorfa; ym mha rai yr oedd mesur aneirif o arian, a rhifedi mawr o wisgoedd, ac eiddo gwerthfawr eraill, ac, mewn gair, dyna'r lle yr oedd holl gyfoeth yr Iuddewon wedi ei gyd-bentyrru; pan y darfu i'r holl bobl gyfoethog adeiladu iddynt eu hunain ystafelloedd i gynnwys y fath

* Y Perea hwn, os na cham-gymmerir y gair yn y copiau, ni allai yn iawn fod y Perea hwnnw ag oedd y tu hwnt i'r Iorddonen, mynyddau pa un ydoedd ryw bellder oddiwrth yr Iorddonen, ac yn llawer gormod o bellder i gyssylltu â'r adsaid hon ar ddinystriad y deml trwy dân. Ond y Perea hwn a raid yn hytrach ei fod ryw fynydd tu hwnt i afon Cedron, megis yr oedd mynydd yr olewydd, neu ryw rai eraill, o gylch y fath bellder o Jerusalem; pa ryw sulw sydd mor amlwg, fel y mae yn rhyfedd na wnaeth ein hesbonwyr un crybwylliad o hono.

† Reland, fel y tebygaf, a farna yn gywir yma pan y mae'n deongl y pigau hyn, i fod y rhai hynny a osodid ar nen y tŷ sanctaidd, gyd â blaenau llymion: sicrhasid hwy yno mewn plwm, i rwystro disgyniad adar arno, i halogi neu ddiwyno y tŷ sanctaidd. Canys y cyfryw bigau oedd yn awr arno, fel yr oedd Josephus ei hun eisoes wedi sicrhau i ni, V. 5.

‡ Gwel pen. 3,

ddodrefn. Y milwyr hefyd a ddaethant i weddill yr ystefyll-dai ag oedd ynghyntedd allanol y deml; i ba le y ffoisai y gwragedd, a'r plant, a thyrfa gymmysg o'r bobl, mewn nifer ynghylch chwe mil. Ond cyn i Cæsar benderfynu dim ynghylch y bobl yma, na rhoddi unrhyw orchymmyn i'r blaenoriaid mewn perthynas iddynt, y milwyr oeddynt yn y fath gynddaredd fel y gosodasant yr ystafell-dŷ hwnnw ar dân. Trwy ba foddion amryw o'r rhai hynny a ddifethwyd trwy fwrw eu hunain i lawr bendramwnwgl, a rhai a losgwyd yn yr ystafell-dŷ ei hun: ac ni ddiangodd neb o honynt a'u bywydau ganddynt. Rhyw gau-brophwyd oedd yr achos o ddistrywiad y * bobl hyn; yr hwn a wnaethai gyhoeddiad cyffredin yn y ddinas, ar y dydd hwnnw, "Ddarfod i Dduw orchymmyn am iddynt esgyn i fynu ar nen y deml; ac y rhoddid iddynt yno ryw arwyddion gwyrthiol o'u gwaredigaeth." Yn awr, yr ydoedd y pryd hwnnw nifeiri mawr o gau-brophwydi, wedi eu danfon allan gan y gorthrymwyr i hudo'r bobl; y rhai a ddywedasant wrthynt y dylent ddisgwyl am waredigaeth oddi wrth Dduw; a hyn ydoedd mewn trefn i'w cadw rhag encilio; ac fel y cynhelid hwy i fynu uwchlaw ofn, a rhagofal trwy'r fath obeithion. Yn awr, dyn mewn cyfyngder a gydsynia yn hawdd â'r fath addewidion. Canys wedi i'r fath dwyllwr wneud iddo gredu y gwaredir ef o'r fath gyfyngderau ag sydd yn ei orthrymmu ef, yna y bydd y dioddefwr yn llawn gobeithion o'r fath waredigaeth.

Fel hyn y bobl druenus a berswadid gan y twyllwyr yma, a'r fath ag oedd yn rhoi'r celwydd ar Dduw ei hun. Pan na ystyriasant, ac ni roesant gred i'r arwyddion ag ydoedd mor amlwg, a'r hyn oedd yn eglur ragfynegi eu dinystr canlynol. Ond hwynt-hwy fel ynfydion penwan, heb na llygaid ganddynt i weled, na meddwl i ystyried, ni wnaethant sylw o'r bygythiadau a ddangosodd Duw iddynt. Felly bu i seren, ar lun cleddyf, sefyll uwch ben y ddinas; a seren losgyrnog barhau i ymddangos tros flwyddyn gyfan. Yr un modd hefyd o flaen gwrthryfel yr Iuddewon, a chyn y cynnwrf a ragflaenodd y rhyfel, pan oedd y bobl wedi dyfod yn dyrfaoedd mawrion i ŵyl y bara croyw, ar yr † wythfed dydd o'r mis Xanthicus neu Nisan, ac ar y nawfed awr o'r nos, goleuni mor fawr a lewyrchodd o amgylch yr allor a'r tŷ sanctaidd, fel yr ymddangosodd yn ddydd goleu, tros yspaid hanner awr. Y goleuni yma a ymddangosodd yn arwydd o ddaioni i'r rhai anneallus: ond a ddehonglwyd yn y fath fodd gan yr ysgrifenyddion cyssegredig, ag i rag-ddangos y digwyddiadau a ganlynodd yn ebrwydd. Ar yr un ŵyl hefyd, fel yr oedd anner yn cael ei harwain gan yr archoffeiriad i'w haberthu, hi a fwriodd oen ynghanol y deml. Ymhellach, porth dwyreiniol ‡ cyntedd tu fewnol y deml, yr hwn ydoedd o bres, ac o bwysau mawr, a'r hwn a gaeid trwy anhawsdra gan ugain o ddynion, yn gorphwys ar wadnau wedi eu rhwymo â haiarn, a bolltau iddo, y rhai a redent yn ddwfn i'r llawr, yr hwn a wnaed o un maen cyfan, a welwyd yn agoryd o hono ei hun ynghylch y chwechfed awr o'r nos. Yn awr, y rhai oedd yn cadw gwyliadwriaeth yn y deml, a redasant ar hynny at gadben, gan ei wneud yn hyspys o hono: yr hwn ar hynny a ddaeth i fynu yno: ac nid heb lawer o anhawsdra y gallasant gau y porth drachefn. Hyn hefyd a ymddangosodd i'r gwerinos yn rhyfeddod dra chyssurus; fel pe buasai wrth hynny yn agor porth o ddedwyddwch iddynt. Ond y gwŷr o ddysg a'i deallasant fel dattodiad o ddiogelwch y tŷ sanctaidd o hono ei hun; ac agoriad y porth megis y fantais a ganiattäid i'w gelynion. Felly y pethau hyn a ddangosodd ar gyhoedd yr arwydd oedd yn rhagflaenu y dinystr a'r anghyfannedd-dra a ddeuai arnynt. Heblaw y pethau hyn, ychydig o ddyddiau ar ol yr ŵyl, ar yr unfed dydd ar hugain o'r mis Artemisius, neu Jyar, bu ymddangosiad dieithr, ac anarferol yn yr wybr. Meddyliaf yr ymddangosai'r adroddiad o hono yn beth anghredadwy, pe na thystid hynny gan y rhai a'i gwelsant; a phe na byddai y digwyddiadau a ganlynodd, o naturiaeth mor neillduol a'u bod yn deilwng o'r fath arwyddion.

* Y mae Reland yma yn uniawn sylwi, ddarfod i'r Iuddewon hyn, y rhai a ddirmygent y gwir Brophwyd, gael yn haeddiannol eu camarwain a'u twyllo gan gau brophwydi.

† Gan fod Josephus o hyd yn arferyd y mis Macedonaidd Xanthicus, am y mis Iuddewaidd Nisan, yr 8ed dydd hwn, neu, fel y darllenir gan Nicephorus, y 9ed o Xanthicus, neu Nisan, ydoedd ynghylch i wythnos cyn y Pasg, ar y 14eg. Ynghylch pa amser yr ydym yn dysgu oddiwrth St. Ioan, yr arferai "llawer o'r wlad fyned i fynu i Jerusalem, o flaen y Pasg, i'w glanhau eu hunain." Ioan xi. 55. mewn cyttundeb hefyd â Josephus, V. 3. A da y gallai ar nosweithiau y dyddiau hyn y cyfryw oleuni anarferol ymddangos.

‡ Cyntedd yr Israeliaid.

Canys o flaen machludiad yr haul, cerbydau, â lluoedd o filwyr yn eu harfogaeth, a welid yn rhedeg o amgylch ym mhlith y cymhylau, ac yn cylchynu dinasoedd. Ymhellach ar yr ŵyl honno a alwn ni y Pentecost, fel yr oedd offeiriaid yn y nos yn myned i gyntedd tufewnol y deml, yn ol eu defod, i gyflawni eu gweinidogaeth gyssegredig; dywedasant iddynt, yn y lle cyntaf deimlo cryndod neu sigliad, a chlywed sŵn mawr; ac ar ol hynny y clubuant lais, megis gan liaws yn dywedyd, "Symmudwn ymaith."

Ond yr hyn sydd fyth yn fwy dychrynadwy, yr ydoedd un Jesus, mab Ananus, llafurwr; yr hwn, bedair blynedd cyn dechreuad y rhyfel, ac ar amser yr oedd y ddinas mewn heddwch mawr â llwyddiant, a ddaeth i'r ŵyl; ar ba un ein defod ydyw i bob un wneuthur pebyll i Dduw * yn y deml; ac a ddechreuodd yn ddisymmwth lefain allan, "Llais o'r dwyrain; llais o'r gorllewin; a llais oddiwrth y pedwar gwynt; llais yn erbyn Jerusalem a'r tŷ sanctaidd; llais yn erbyn y priodfab â'r briodferch; a llais yn erbyn y cyfan o'r bobl hyn." Dyma oedd ei gri, fel ag yr elai o amgylch ddydd a nos, yn holl heolydd y ddinas. Pa fodd bynnag, rhai o'r gwŷr mwyaf ym mhlith y werin oeddynt yn ddigofus tu ag at y cri neu'r llefain hwn o'r eiddo ef; a chymmerasant i fynu'r dyn, ac a osodasant arno nifer o wialenodiau llymion. Etto ni ddywedodd efe un peth trosto ei hun, na dim neillduol oblegid y rhai a'i ceryddent ef; ond a aeth fyth yn mlaen â'r un geiriau ag a draethasai eisoes. Ar hyn ein llywodraethwyr, yn dychmmygu fod rhyw wallgof anarferol wedi meddiannu'r dyn, a'i dygasant ef at y rhaglaw Rhufeinig; lle y fflangellwyd ef, nes ymddangos o'i esgyrn. Etto ni wnaeth efe un erfyniad trosto ei hun, ac ni thywalltodd ddim dagrau: ond gan droi ei lais i'r dull mwyaf galarus ag oedd bosibl ar bob ergyd gan y fflangell, ei attebiad ydoedd, "Gwae, gwae, i Jerusalem." Ac wedi i Albinus, (canys efe oedd raglaw y pryd hwnnw,) ofyn iddo, pwy ydoedd, o ba le y daethai, a phaham yr oedd yn cyhoeddi y fath eiriau? ni wnaeth efe un math o attebiad i'r hyn a ofynodd: ond parhau fyth er y cwbl ei groch-lef; nes i Albinus ei gymmeryd am ddyn gorphwyllog, a'i anfon ymaith. Yn awr tros yspaid yr holl amser a aeth heibio cyn dechreu y rhyfel, ni ddeuai'r dyn hwn yn agos at un o'r dinasyddion; ac ni welwyd ef ganddynt tra y llefodd felly. Ond efe beunydd a gyhoeddodd y geiriau wylofus hyn, fel pe buasai wedi eisoes addunedu ei wneuthur, "Gwae, gwae, i Jerusalem." Ac ni roddodd ddim geiriau cas i'r rhai a'i curent ef bob dydd; na geiriau teg i'r sawl a'i porthent ef: ond hyn ydoedd ei attebiad i bob dynion; a'r hyn yn wir nid ydoedd amgen na darogoniad athrist o'r peth a ganlynai. Y llef hon o'r eiddo ef oedd uchaf ar a gwyliau: ac efe a barhaodd yn yr ymarferiad yma dros saith mlynedd, a phum mis; heb fyned o hono yn grŷg, nac yn flinedig; hyd yr amser pendant y gwelodd ei ddarogan yn cael yn wirioneddol ei gyflawni, yn ein gwarchaedigaeth; pa ryw amser y gorphwysodd. Canys fel yr oedd yn myned o amgylch ar y mur, fe lefodd allan â'i holl egni, "Gwae, gwae, drachefn i'r ddinas, ac i'r bobl, ac i'r tŷ sanctaidd." Ac yn gymmwys fel ag y chwanegodd ar y diwedd, "Gwae, gwae i mi fy hun hefyd," daeth carreg oddi wrth un o'r peiriannau yr hon a'i tarawodd, ac yn y fan a'i lladdodd ef. Ac fel yr oedd yn traethu yr un geiriau, efe a drengodd.

Yn awr, os ystyria neb y pethau hyn, fe wel fod Duw â'i ofal tros ddynolryw, a thrwy bob ffordd ag sydd bosibl yn dangos i'n rhywogaeth yr hyn sydd er eu diogelwch; ond bod dynion yn cael eu difetha trwy'r trueni hwnnw y maent yn wallgofus ac yn wirfoddol yn ei ddwyn arnynt eu hunain. Canys yr Iuddewon, trwy ddadymchwelyd tŵr Antonia, a wnaethant eu teml yn bedwar-ochrog: tra ar yr un amser yr oedd ganddynt yn ysgrifenedig yn eu horaclau dwyfol, mai dyna'r pryd y cymmerid eu dinas, yn gystal a'u tŷ sanctaidd, pan unwaith y deuai eu teml yn bedair-ochrog. Ond yn awr yr hyn oedd fwyaf yn peri iddynt ymddyrchafu i gymmeryd arnynt y rhyfel hwn, ydoedd ryw oracl amwhëus a gafwyd hefyd yn eu 'sgrifenadau cyssegredig; yn arwyddo mai ynghylch yr amser hwn, y byddai i ryw un o'u gwlad eu

* Reland a Havercamp, yn y lle hwn, ydynt yn newid y nodiad naturiol, ac ystyr dywediad Josephus; a hyn yn wrthwyneb i dyb Valerius, a Dr. Hudson: rhag dywedyd o Josephus, fod yr Iuddewon yn adeiladu bythod o fewn i'r deml, ar ŵyl y pebyll; yr hyn ni chydsynia y diweddar Rabbiniaid ei fod yn arferiad hynafiaethol. Ond yna, gan y dywedir i ni yn bendant yn Nehemiah viii. 16. ddarfod mewn amseroedd hynach, i'r Iuddewon "wneuthur iddynt fythod ynghynteddoedd tŷ Dduw," ar yr ŵyl honno; gellir yn gyfiawn ganiattâu i Josephus ddywedyd yr un peth. Ac yn wir nid yw y Rabbiniaid diweddar i'w coelio ond ychydig ymherthynas i faterion o bell hynafiaeth.

hunain, ddyfod yn llywodraethwr y ddaear gyfanneddol. Yr Iuddewon a gymmerasant y rhagfynegiad hwn megis yn perthynu iddynt eu hunain yn neillduol: a llawer o'r gwŷr doethion a dwyllwyd yn eu penderfyniadau wrth hynny. Yn awr, yr oracl neu ymadrodd hwnnw ydoedd yn sicr yn arwyddo llywodraeth Vespasian, yr hwn a appwyntiwyd yn ymerawdwr yn Judea. Pa fodd bynnag, y mae'n ammhosibl i ddynion ochelyd tynghedfen, er ei weled ganddynt ym mlaen llaw. Ond y gwŷr hyn a ddehonglent rai o'u harwyddion yn ol eu dymuniadau eu hunain, ac eraill a'u hollol ddirmygent: nes i'w gwallgof gael ei wneud yn amlwg, yn gystal trwy gymmeriad o'r ddinas, a'u dinystr eu hunain.

## PENNOD VI.

*Am lawenychiad y filwriaeth wrth Titus, ar eu llwyddiant. Yr araith a wnaeth Titus wrth yr Iuddewon, pan erfyniasant ei drugaredd; a'u hattebiad.*

YN awr y Rhufeiniaid, ar ffoedigaeth yr ymbleidwyr i'r ddinas, ac wedi difa trwy dân y tŷ sanctaidd ei hun, a'r adeiladau oll o amgylch, a ddygasant eu * bannerau i'r deml, ac a'u gosodasant gyferbyn a'i phorth dwyreiniol. Ac yno yr offrymasant aberthau iddynt, ac y † cyhoeddasant Titus yn Orchymmynydd, gyd â bloddest a llawenydd mawr. Ac yn awr yr holl filwyr ydoedd a chanddynt y fath fesurau mawr o yspail a gawsent trwy anrheithio, fel y gwerthid yn Syria bwys o aur am hanner ei werth o'r blaen. Ond am yr offeiriaid a gadwent eu hunain i fynu etto ar ‡ fur y tŷ sanctaidd; yr ydoedd yno fachgenyn, yr hwn o herwydd y syched oedd arno, a ddeisyfodd ar rai o'r gwarchawdlu Rhufeinig roddi iddo eu deheulaw, fel sicrwydd am ei fywyd; gan gyffesu ei fod yn dra sychedig. Y gwarcheidwaid a dosturiasant wrth ei oedran, a'r cyfyngder yr oedd ynddo, ac a roesant iddo eu deheulaw yn ganlynol. Felly fe ddaeth ei hun i lawr, ac a yfodd beth dwfr, ac a lanwodd y llestr oedd ganddo, pan y daeth attynt, â dwfr, ac yna fe aeth ymaith at ei gyfeillion ei hun. Ac ni allai un o'r gwarchawdlu ei oddiweddu: ond etto'r oeddynt yn ei waradwyddo ef am ei anudon. I'r hyn y gwnaeth yr attebiad hwn, "Ni thorrais fy nghyttundeb; canys y sicrwydd a roddwyd i mi nid ydoedd mewn trefn i'm arosiad gyd â chwi; ond yn unig i'r diben o'm dyfodiad i lawr mewn diogelwch, a chymmeryd i fynu beth dwfr, yr hyn bethau a gyflawnais; ac wrth hynny ydwyf yn tybied fy hun wedi bod yn ffyddlon i'm hymrwymiad." Ar hyn y rhai a dwyllasid gan y plentyn a ryfeddasant wrth ei gyfrwysedd, a hynny oblegid ei oedran. Ar y pummed dydd ar ol hynny, yr offeiriaid ag oedd yn diflannu gan y newyn a ddaethant i lawr: ac wedi eu dwyn hwynt at Titus, gan y gwarchawdlu, hwy a ymbiliasant am eu bywydau. Ond efe a attebodd, "fod amser maddeu wedi myned trosodd, ymherthynas iddynt hwy; a bod y tŷ sanctaidd hwnnw, ar gyfrif pa un y gallent yn gyfiawn ddisgwyl eu hachub, wedi ei ddifetha: a'i fod yn gyttunol â'u swydd hwynt i'r offeiriaid gael eu difetha gyd â'r tŷ y perthynent iddo." Felly fe orchymmynodd eu rhoddi hwynt i farwolaeth.

Ond am y gorthrymwyr, a'r rhai oedd gyd â hwynt, pan wybuant eu bod wedi eu hamgylchynu ar bob tu; ac, fel pe buasai, wedi murio o'u cwmpas, heb un ffordd i ddiangc; hwy a ddymunasant gael gwneud cyttundeb â Titus trwy ymddiddan ag ef. Yn ganlynol, y fath ydoedd rhywiogrwydd ei natur, a'i ddymuniad i gadw'r ddinas rhag ei llwyr ddinystrio, fel yr unodd â chyngor ei gyfeillion; y rhai yn awr a dybiasant fod yr yspeilwyr wedi dyfod i'r fath dymmer, fel y gosododd ei hun ar du gorllewin cyntedd allanol y deml. Canys yr ydoedd pyrth ar yr ochr hwnnw, uwchlaw y Xystus; a phont ag oedd yn cyssylltu y ddinas uchaf â'r deml. Y bont yma oedd yr hyn a safai rhwng y gormeswyr a Cæsar, ac yn eu gwahanu hwynt; pan ydoedd y lliaws hefyd yn sefyll ar bob tu; y rhai o'r genedl Iuddewig gyd â Simon a Ioan, yn disgwyl maddeuant; a'r Rhufeiniaid o amgylch Cæsar, mewn disgwyliad i wybod pa fodd y derbyniai Titus eu herfyniau hwynt. Felly Tius a archodd i'w filwyr attal eu llid-

* Cymmerwch nod Havercamp ar fan yma: "Hwn," medd efe, "sydd yn lle hynod." A Thertulian yn ei Amddiffyniad, pen. xvi. t. d. 162, a ddywed wirionedd; fod, "Y cwbl o grefydd y gwersyll neu'r fyddin Rufeinig, yn gynhwysedig yn addoliad y bannerau; yn tyngu i'r bannerau; ac yn perchi eu bannerau uwch-law pob duwiau eraill." Gwelwch yr hyn a ddywed Havercamp ar y lle hwnnw yn Tertulian.

† Y cyhoeddiad hwn o Titus yn Orchymmynydd gan y milwyr, ar lwyddiant mor hynodfawr, ac ar laddfa cynnifer o elynion, ydoedd yn gyttûn ag arferiad y Rhufeiniaid ar y fath achosion, fel yr hyspysa Reland i ni ar y lle hwn.

‡ Yr Iuddewon o amser diweddarach a gyttunant â Josephus, i fod lleoedd cuddiedig neu 'stafelloedd dirgel ynghylch y tŷ sanctaidd, fel y mae Reland yma yn hyspysu i ni: pa le y meddylia gael o hono y muriau a ddescrifir yma ganddynt.

iowgrwydd, ac i adael o'r neilldu eu piccellau: ac efe a appwyntiodd ddehonglwr rhyngddynt, yr hyn a arwyddai mai efe oedd y concwerwr; ac a ddechreuodd ymadroddi yn gyntaf, gan ddywedyd, "Yr wyf yn gobeithio eich bod chwi, foneddigion, wedi eich digoni yn awr â thruneni eich gwlad; y rhai ni fu gennych syniadau addas am ein galluogrwydd ni, nac am eich gwendid eich hunain; ond a ddarfu i chwi, fel dynion gwallgofus, mewn modd rhyfygus ac anystyriol wneud y fath gynnygiadau, ac a ddygodd eich pobl, eich dinas, a'ch tŷ sanctaidd i ddinystr. Chwychwi a fu'r dynion na adawsoch heibio un amser wrthryfela er pan gongcwerwyd chwi gyntaf gan Pompey: ac a wnaethoch wedi'r amser uchod, ryfel cyhoeddus â'r Rhufeiniaid. A ddarfu chwi hyderu ar eich lliosogrwydd, pan fu rhan fechan o'r fyddin Rufeinig yn ddigon cryf i chwi? A hyderasoch ar ffyddlondeb eich cyngreirwyr? A pha genedl sydd allan o derfynau ein harglwyddiaeth ni a ddewisai gynnorthwyo'r Iuddewon o flaen y Rhufeiniaid? A ydyw eich cyrph yn gryfach na'r eiddom ni? Nag ê, chwi wyddoch fod yr Ellmyn cryfion eu hunain yn weision i ni. A oes gennych gadarnach muriau nag sydd gennym ni? Pa fwy rhwystr na muriau'r cefnfor â pha un yr amgylchir y Brutaniaid? ac etto hwy a barchant arfau y Rhufeiniaid. A ydych yn rhagori arnom yngwrolder eich meddyliau, ac yn noethineb eich blaenoriaid? Nag ê, yn wir, ni ellwch amgen na gwybod, ddarfod i'r Carthaginiaid eu hunain gael eu gyrchfygu gennym ni. Nis gallasai, gan hynny, ddim ond ein tynerwch ni Rufeiniaid beri i chwi gyfodi yn ein herbyn. Nyni yn y lle cyntaf a roddasom i chwi y tir hwn i'w feddiannu: yn y lle nesaf, a osodasom arnoch frenhinoedd o'ch cenedl eich hun; ac yn y trydydd lle, ni a gadwasom gyfreithiau eich henafiaid i chwi; a chyd â'r cwbl ni a ganiattasom i chwi fyw ar eich pennau eich hunain, neu ym mysg eraill, megis ag y gwelech yn dda. A'r hyn oedd fwy ffafr na'r cwbl, rhoddasom gennad i chwi i gasglu i fynu y * deyrnged a delir i Dduw; gyd â'r fath roddion eraill ag a gyssegrir iddo ef. Ac ni alwasom y rhai a ddygasant y rhoddion hynny i gyfrif, neu wahardd iddynt. Nes o'r diwedd i chwi fyned yn gyfoethoccach na ni ein hunain, ïe pan oeddych yn elynion i ni; a chwi a ymbarottoisoch i ryfel yn ein herbyn â'n harian ni. Nag ê, wedi'r cwbl, pan oeddych yn y mwynhad o'r holl fanteision hyn, chwi a ddefnyddiasoch eich gormodol lawnder yn erbyn y rhai a'i rhoddasai i chwi; ac fel seirph di-drugaredd a fwriasoch allan eich gwenwyn yn erbyn y rhai a'ch triniodd mor haelionus. Tebygaf, gan hynny, y gallech ddirmygu hwyrfrydigrwydd Nero, ac fel aelodau corph wedi torri neu fyned o'u lle, chwi arosasoch y pryd hynny yn llonydd, gan ddisgwyl am ryw amser arall; etto gyd âg amcan maleisus: ac yn awr chwi a ddangosasoch eich annhymmer ei fod yn fwy nag erioed, trwy helaethu eich dymuniadau mor bell ag y parodd eich gobeithiau digywilydd ac annherfynol i chwi ei wneuthur. Ar yr amser hynny y daeth fy nhad i'r wlad hon; nid gyd âg amcan i'ch cospi am yr hyn a wnaethid tan Cestius, ond i'ch rhybuddio chwi. Canys pe daethai i ddadymchwelyd eich cenedl, fe brysurasai at brif-ffynnon eich gwladwriaeth, ac yn uniongyrch a ddifrodasai y ddinas hon. Pan, yn lle hynny, yr aeth ac y llosgodd Galilea, a'r parthau cymmydogaethol; a thrwy hynny a roddodd i chwi amser i edifeirwch: ond y siampl hynny o ddynoliaeth a gymmerasoch chwi yn arwydd o'i wendid; gan feithrin i fynu eich digywilydd-dra â'n tynerwch ni. Ar farwolaeth Nero, chwi wnaethoch fel y gwnaethai y dihirwyr pennaf; sef ymannog eich gilydd i godi yn ein herbyn, trwy'r achlysur o'n hymrafaelion cartrefol: a chan ddiystyru yr amser hwnnw ym mha un yr aethum i a'm tad i'r Aipht, i wneud parottoad gogyfer â'r rhyfel hwn. Ac ni chywilyddiech godi terfysgoedd yn ein herbyn pan i'n gwnawd yn ymerawdwyr: a hynny wedi profi o honoch mor dyner a fuasem, pan nad oeddym ychwaneg na chad-flaenoriaid y fyddin. Ond wedi disgyn o'r llywodraeth arnom, a phawb eraill yn ymlonyddu ar hynny, a phan ddarfu hyd yn oed i genhedlaethau dieithrol ddanfon cenhadwyr, i'n cyfarch ar ein hesgyniad i'r llywodraeth, yna y dangosasoch chwi eich hunain yn elynion i ni. Danfonasoch gennadwriaethau hefyd at eich cenedl y tu hwnt i Euphrates, am ddyfod o

† Spanheim a noda yma, fod y Rhufeiniaid yn arfer â chaniattâu i'r Iuddewon gasglu eu teyrnged gyssegredig, a'i ddanfon i Jerusalem.

O'r hyn y mae gennym wedi ei adrodd eisoes gyflawnder o dystiolaethau yn Josephus, ar achosion eraill.

honynt i'ch cynnorthwyo ynghodiad terfysgoedd. Muriau newyddion a wnaethpwyd o gwmpas eich dinas: ymrysonau a gyfododd: un gorthrymwr a ymdrechai yn erbyn arall; a rhyfel cartrefol a dorrodd allan ym eich plith: y fath yn wir na weddai i neb ond y cyfryw bobl ddrygionus a chwychwi. Yna y daethum i at y ddinas hon, megis wedi fy anfon yn anewyllysgar gan fy nhad, a derbyn gorchymmynion caethion ganddo ef. Pan glybum fod y trigolion yn tueddu at heddwch, mi a lawenychais o'i blegid: mi'ch cynghorais i roddi heibio eich ymryson cyn dechrau y rhyfel hwn: mi'ch arbedais, ïe wedi ymladd yn fy erbyn ennyd fawr. Rhoddais fy neheulaw yn sicrwydd i'r encilwyr; a sefais at yr hyn a addawswn yn ffyddlon. Pan ffoesant attaf, mi dosturiais wrth lawer a gymmeraswn yn gaethion. Mi arteithiais y rhai oedd chwannog i ryfel, mewn trefn i'w hattal hwynt. Megis o'm hanfodd y dygais fy mheirianau rhyfel yn erbyn eich muriau chwi. Gwaherddais fy milwyr yn wastadol pan oeddynt â'u tuedd ich difetha, rhag arfer creulondeb i'ch erbyn. Wedi pob buddugoliaeth mi'ch perswadiais i ymheddychu, megis pe buaswn fy hun wedi fy ngorchfygu. Pan agosheais at eich teml, gadewais o'r neilldu drachefn ddilyn rheol cyfreithiau rhyfel, gan eich cynghori i arbed eich cyssegr eich hun, a chadw eich tŷ sactaidd i chwi eich hunain. Caniatteais i chwi fynediad llonydd allan o hono, a sicrwydd o'ch amddiffyniad.Ië, pe buasech yn dewis, cynnygiais ryddid i chwi i ymladd mewn lle arall. Etto chwychwi o hyd a ddirmygasoch bob un o'm cynhygion, ac a osodasoch eich tŷ sanctaidd ar dân â'ch dwylaw eich hun. Ac yn awr a ydych, chwychwi ddrygwyr euog, yn dymuno ammodi â mi trwy gyd-ymddiddaniad personol? Pa ddiben ydyw i chwi achub y fath dŷ sanctaidd ag ydoedd hwn, pa un sydd yn awr wedi ei ddifetha? Pa achubiaeth a ellwch chwi ei ddymuno ar ol dinystrio eich teml? Etto'r ydych yn aros yn llonydd yr amser hwn yn eich arfogaeth. Ac ni fedrwch ddwyn eich hun i'r fath agwedd a chydnabod eich hunain yn ymbilwyr, ïe yn eich cyfyngder eithaf hwn. O druain greaduriaid! pa beth yw'r hyn yr ydych yn ymorphwys arno? Onid yw eich pobl wedi meirw? Onid yw eich tŷ sanctaidd wedi ei ddifa? Onid yw eich dinas tan fy awdurdod i? Ac onid yw eich bywydau eich hunain yn fy nwylaw? Ac a ydych chwi etto yn ei gyfrif yn rhan o wrolder i farw? Pa fodd bynnag, ni ddilynaf fi eich gwallgofrwydd. Os bwriwch eich arfau i lawr, a rhoddi eich cyrph i fynu i mi, eich bywydau a ganiattâf i chwi. Ac mi ymddygaf yn debyg i arglwydd tyner ar deulu. Yr hyn ni ellir ei ddiwygio a gospir: a'r gweddill a gadwaf at fy ngwasanaeth fy hun."

I'r cynhygiad hwn o eiddo Titus hwy a attebasant na allent wneuthur derbyniad o hono, o herwydd tyngu o honynt i beidio byth a'i gyflawni. Ond hwy a ddymunasant gael cennad i fyned trwy'r mur a wnaethid o'u hamgylch, gyd â'u gwragedd a'u plant: oblegid yr aent hwy ymaith i'r diffeithwch, ac y gadawent y ddinas iddo ef. Wrth hyn yr ydoedd Titus yn dra digllon: o herwydd, tra'r oeddynt eisoes ynghyflwr caethweision, eu bod yn cymmeryd arnynt lunio ammodau iddynt eu hunain, fel pe buasent fuddugoliaethwyr. Felly fe orchymynodd gyhoeddi iddynt, na ddeuent mwy allan atto ef fel encilwyr, ac na obeithient am ddim pellach sicrwydd: oblegid rhag llaw nad arbedai efe neb, ond yr ymladdai a hwynt â'i holl fyddin: a bod yn rhaid iddynt achub eu hunain cystal ag y gallent; am y byddai iddo o hynny allan ymddwyn tu ag attynt yn ol cyfreithiau rhyfel. Yn ganlynol fe roddes orchymmyn i'r milwyr i losgi ac anrheithio'r ddinas; ac ar y dydd nesaf a osododd dân wrth drysor-dŷ y cof-lyfrau, wrth Acra, y cynghor-dŷ, a'r lle a elwid Ophlas: ac ba amser yr aeth y tân ym mlaen mor bell a phalas y frenhines Helena, yr hwn oedd ynghanol Acra. Yr heolydd hefyd a losgwyd i lawr; megis hefyd y tai hynny ag oedd lawn o gyrph meirwon y rhai a ddifethasid gan y newyn.

Ar yr un dydd meibion a brodyr Izates y brenin, ynghyd âg amryw eraill o wŷr enwog y lliaws a ddaethant ynghyd, i attolygu ar Cæsar roddi iddynt ei ddeheulaw er eu diogelwch. Ar yr hyn, er ei fod yn awr yn dra llidiog wrth y rhai oll a adawsid, etto ni ddododd heibio yn llwyr ei gymmedrolder gynt, ond a wnaeth dderbyniad o'r dynion hyn. Am yr amser hynny yn wir fe'u cadwodd tan wyliadwriaeth; ond etto fe rwymodd feibion y brenin, a'i garennydd, gan eu dwyn gyd âg ef ei hun i Rufain; mewn trefn i wneud gwystlon o honynt am ffyddlondeb eu cydwladwyr i'r Rhufeiniaid.

## PENNOD VII.

*Am flinderau canlynol yr ymbleidwyr; a'u ffoedigaeth i'r ddinas uchaf.*

YN awr yr ymbleidwyr a ruthrasant i mewn i'r tŷ breuhinol, yn mha un y dodasai llawer eu meddianau, o herwydd ei fod mor gadarn; ac a yrrasant y Rhufeiniaid allan o hono. Hwy hefyd a laddasant yr holl bobl a dyrrent i mewn iddo; y rhai mewn rhifedi oeddynt yngbylch wyth mil, a phedwar cant, gan eu hyspeilio o'r hyn a feddent. Hwy hefyd a gymmerasant ddau o'r Rhufeiniaid yn fyw; un ydoedd ŵr march, a'r llall yn ŵr traed. Yna hwy a dorrasant wythi y milwr traed; a pharasant ei lusgo yn uniongyrch trwy'r holl ddinas; gan ymddial eu hunain ar yr holl Rufeiniaid trwy'r weithred hon. Ond y gŵr march a ddywedodd fod ganddo ryw beth i'w amlygu iddynt er eu diogelwch. Ar hyn fe'i dygwyd o flaenSimon; ond gan nad oedd ganddo ddim i'w ddywedyd pan ddaeth yno, efe a draddodwyd i Ardalas, un o'r blaenoriaid; yr hwn a rwymodd ei ddwylaw y tu ol iddo, gan ddodi ffunen tros ei lygaid, ac yna a'i dygodd allan gyferbyn â'r Rhufeiniaid; megis yn amcanu torri ymaith ei ben ef. Ond y dyn a ragflaenodd y dihenyddiad hwnnw,trwy ddiangc ymaith at y Rhufeiniaid, tra fu y dihenyddwr Iuddewig yn tynnu allan ei gleddyf. Yn awr wedi ei ymadawiad oddi wrth y gelyn, ni allai Titus gydsynio â'u ladd ef: ond o herwydd iddo ei gyfrif yn annheilwng o fod yn filwr Rhufeinig yn hwy, ar gyfrif ei gymmeryd yn fyw gan y gelyn, efe a gymmerodd ymaith ei arfogaeth, ac a'i bwriodd allan o'r lleng i ba un yr oedd yn perthyn: yr hyn, i un a deimlai ei gywilydd, ydoedd gospedigaeth fwy llym na marwolaeth ei hun.

Ar y dydd nesaf y Rhufeiniaid a yrrasant yr yspeilwyr allan o'r ddinas isaf, ac a osodasant y cwbl ar dân cyn belled a Siloam. Y milwyr hyn yn wir ydoedd dda ganddynt weled y ddinas yn cael ei difetha. Ond hwy a fethasant yr aurhaith; am ddarfod i'r ymbleidwyr fyned â'u holl eiddo ymaith, y rhai a giliasent i'r ddinas uchaf. Canys ni edifarhasent etto oblegid y drygau a wnaethent; ond a oeddynt yn drahaus, megis pe gwnaethent yn dda. Canys fel ag y gwelsent y ddinas ar dân, hwy a edrychasant yn siriol gyd ag wynebpryd llawen, mewn disgwyliad, fel y dywedant hwy, i angau roddi terfyn ar eu blinderau. Yn ganlynol, fel ag yr oedd y bobl yn awr wedi eu lladd, y tŷ sanctaidd a losgwyd i lawr, a'r ddinas ydoedd ar dân; ac nid oedd dim ymhellach wedi ei adael i'r gelyn i'w wneuthur. Etto ni thyfodd Josephus yn flinedig, ië yn yr eithaf cyfyngder hwn, i ddeisyf arnynt arbed yr hwn a adawsid o'r ddinas: fe lefarodd yn helaeth wrthynt am eu barbariaeth a'u hannuwioldeb; gan eu cynghori ymherthynas i'w hachubiad eu hunain, er na ynnillodd ddim trwy hynny ond cael chwerthin am ei ben ganddynt. Ac fel na oddefent y meddyliau o roddi eu hunain i fynu, oblegid y llw a wnaethent, ac nad oeddynt yn ddigon cadarn i ymladd â'r Rhufeiniaid, megis eu bod eisoes yn fath o garcharorion, wedi eu hamgylchu ar bob tu: etto'r oeddynt wedi arfer eu hunain yn y cyfryw fodd i ladd pobl, fel na fedrent gadw eu dwylaw rhag gwneuthur yn ol hynny: Felly hwy a wasgarasant eu hunain o flaen y ddinas, ac a wnaethant gynllwyn ym mysg ei hadfeiliau, i ddal y rhai a gynhygient encilio at y Rhufeiniaid. Yn ganlynol llawer o'r fath encilwyr a ddaliwyd ganddynt ac a laddwyd: canys y rhei'ny oeddynt ry egwan, o ddiffyg lluniaeth, i ddiangc ymaith rhagddynt. Felly eu cyrph meirw a fwrid i'r cŵn. Yn awr pob math o farwolaeth arall a fernid yn fwy dioddefol na'r newyn. Yn gymmaint ag er anobeithio o'r Iuddewon am drugaredd, etto hwy a ffoent at y Rhufeiniaid: ac a syrthient o honynt eu hunain tan ddwylaw yr llofruddion gwrthryfelgar hefyd. Ac nid oedd unrhyw le yn y ddinas na orchuddiwyd yn hollol â'r rhai lladdedig, un ai trwy'r newyn, neu'r gwrthryfel: a phob man oedd lawn o gyrph meirwon y rhai a ddifethwyd, un ai trwy'r ymryson, neu'r newyn hwnnw.

Felly yn awr, y gobaith diweddaf ag oedd yn cynnal y gorthrymwyr, a'r fintai hynny o yspeilwyr oedd gyd â hwynt, ydoedd yn yr ogofeydd a'r tyllau oedd tan y ddaear: i ba leoedd os gallent unwaith ddiangc, ni thybiasant y chwilid am danynt: ond yr ymdrechent, wedi dinystrio yr holl ddinas, ac i'r Rhufeiniaid fyned ymaith, ddyfod allan drachefn, a diangc rhagddynt. Hyn, pa fodd bynnag, nid ydoedd

well na breuddwyd o'r eiddynt hwy. Canys ni allent fod yn guddiedig oddiwrth Dduw, na'r Rhufeiniaid. Pa fodd bynnag hwy a ymddiriedasant yn yr ymguddfeydd tan-ddaearol hyn, ac a osodasant ychwaneg o fannau ar dân nâ'r Rhufeiniaid eu hunain. A'r rhai a ffoisant allan o'u tai, a osodwyd fel hyn ar dân, i'r cloddiau, hwy a'u hyspeiliasant ac a'u lladdasant yn ddidrugaredd. Ac os deuent o hyd i luniaeth yn perthyn i ryw un, hwy a'i cymmerent, ac a'i llyngcent i lawr ynghyd â'u gwaed. Ië, hwy a ddaethant, yn awr i ymladd y naill â'r llall am eu hanrhaith. Ac ni allaf amgen na meddwl pe na buasai i'w dinystr ei ragflaenu, na buasai i'w creulondeb wneud iddynt brofi o'r cyrph meirw eu hunain.

## PENNOD VIII.

*Cæsar yn peri i wrth-gloddiau gael eu cyfodi o amgylch y ddinas uchaf, a chyd a cynnorthwy ei beiriannau, yn gwneud ei hun yn feddiannwr yr holl le.*

WEDI canfod gan Cæsar fod y ddinas uchaf mor serth, fel nad oedd yn bossibl ei chymmeryd heb godi gwrthgloddiau i'w herbyn, fe ddosparthodd amrywiol rannau y gwaith hwnnw ym mysg ei fyddin, a hynny ar yr ugeinfed dydd o'r mis Lous neu Ab. Yn awr, cludiad y defnyddiau yno ydoedd waith o anhawsdra; oblegid yr holl goed o amgylch y ddinas, i'r pellder o gant o 'stanau, oeddynt a'u canghenau eisoes wedi eu torri ymaith, mewn trefn i wneuthur y bryncynnau neu wrthgloddiau blaenorol. Y gweithiau perthynol i'r pedair lleng a adeiledid ar du gorllewinol gyferbyn â'r tŷ brenhinol. Ond yr holl gorph o fyddinoedd cynnorthwyedig, ac eraill o'r lliaws oedd gyd â hwynt, a godasant eu gwrthgloddiau wrth y Xystus: o ba le yr oeddynt yn cyrraedd hyd y bont, a'r tŵr o eiddo Simon, yr hwn a adeiladasai efe fel amddiffynfa iddo ei hun yn ei byn Ioan, pan oeddynt mewn rhyfel â'u gilydd.

Ar yr amser hwn y bu i flaenoriaid yr Idumeaid ddyfod yn ddirgel ynghyd, i ymgynghori ynghylch rhoddi eu hunain i fynu i'r Rhufeiniaid. Yn ganlynol hwy a ddanfonasant bump o wŷr at Titus, i erfyn arno roddi iddynt ei ddeheulaw er eu diogelwch. Felly Titus yn dychymmygu y byddai i'r gormeswyr ymostwng, wedi i'r Idumeaid, ar ba rai yr oedd y rhyfel mewn rhan fawr yn ymddibynnu, dynnu oddi wrthynt, ar ol hir oediad ac anfodd, a gydsyniodd â hwynt; a rhoddodd iddynt sicrwydd am eu bywydau, gan ddanfon yn eu hol y pum gwr. Ond fel yr oedd yr Idumeaid hyn yn parottoi i fyned allan, Simon a'u canfu, ac yn uniongyrch a laddodd y pump gwŷr hynny a fuasent gyd â Titus, gan gymmeryd eu blaenorwyr a'u dodi yngharchar, o ba rai y mwyaf enwog oedd Jacob mab Sosas. Ond am liaws yr Idumeaid, y rhai ni wyddent pa beth i'w wneuthur, gan ddarfod yn awr gymmeryd i fynu eu blaenoriaid, fe barodd wylio arnynt, gan sicrhau y muriau trwy rifedi mwy o wersyllwyr. Etto ni allai y gwersyll hwnnw wrthsefyll y rhai a gilient ymaith. Canys er lladd llawer o honynt, etto'r oedd yr encilwyr yn llawer mwy mewn rhifedi. Y rhai hyn a dderbynid oll gan y Rhufeiniaid; o herwydd i Titus ei hun dyfu yn esgeulus ymherthynas i'w archiadau blaenorol, ac o herwydd fod y milwyr eu hunain yn blino ar eu lladd hwynt: ac ar gyfrif gobeithio o honynt gael arian am eu harbed. Canys ni adawsant yn unig ond y werin; ac a * werthasant eraill o'r lliaws, gyd â'u gwragedd â'u plant, a phob un o honynt am bris tra isel: a hynny ar gyfrif amldra y rhai a werthwyd, ac anamldra y pwrcaswyr. Ac er i Titus gynt gyhoeddi na dderbynid un encilwr wrtho ei hun; fel trwy hynny y dygent allan eu teuluoedd gyd â hwynt; etto fe wnaeth dderbyniad hefyd o'r cyfryw â'r rhai hyn. Pa fodd bynnag, fe osododd y fath olygwyr arnynt ag a wahaniaethai y naill oddiwrth eraill; mewn trefn i wybod a fyddai rai o honynt yn haeddiannol o gospedigaeth. Ac yn wir nifer y rhai a werthwyd oeddynt yn aneirif. Ond o'r gwerinos, uwchlaw deugain mil a achubwyd; y rhai a ganiattaodd Cæsar iddynt fyned lle y gwelai pob un o honynt yn oreu.

* Y rhifedi aneirif yma o Iuddewon, a werthwyd gan y Rhufeiniaid, ydoedd gyflawniad amlwg o fygythiad Duw gynt trwy Moses; mai os gwrthgilient oddiwrth eu hufudd-dod i'w gyfreithiau ef, y gwerthid hwynt i'w gelynion yn gaeth-weision ac yn gaeth-forwynion; Deut. xxviii. 68. Gwelwch yn twy neillduol y nod ar pen 9. Ond un peth sydd yma i nodi arno; y modd y mae Moses yn chwanegu mai er eu gwerthu yn gaeth-weision, na fyddai neb a'u prynai hwynt: h. y. eu had-brynu hwynt o'r gwerthiad hwn i gaethiwed: neu yn hytrach, y byddai'r caeth-weision yn fwy nag a fyddai o bwrcaswyr iddynt; ac felly y gwerthid hwynt am ychydig neu ddim: yr hyn y mae Josephus yn cadarnhau fod eu hamgylchiad yr amser hwn.

Yr amser yma y bu i un o'r offeiriaid, mab Thebuthus, enw'r hwn oedd Jesus, ar y sicrwydd a roddwyd iddo trwy lw Cesar, yr achubid ef, ar yr ammod o draddodi iddo y cyfryw bethau † gwerthfawr a osodasid ynghadw yn y deml, a ddaeth allan o honi, ac a draddododd iddo oddi ar fûr y tŷ sanctaidd, ddau ganhwyllbren; cyffelyb i'r rhai a safent yn y tŷ sanctaidd; gyd â byrddau, cerwyni, a phiolau, y cwbl yn wneuthuredig o aur, ac yn dra thrymion. Efe hefyd a roddodd iddo y llenni, a'r gwisgodd, gyd a'r meini gwerthfawr, a rhifedi mawr o lestriau perthynol i'w cyssegredig addoliad. Trysorydd y deml hefyd, enw pa un oedd Phineas, a oresgynwyd, ac a ddangosodd i Titus amwisgoedd a gwregysau yr offeiriaid; gyd â mesur mawr o borphor ac yscarled a adawsid yno at wasanaeth y llen: megis hefyd fesur mawr o ‡ sinnamon, casia, a pher-lysiau eraill, y rhai a arferid eu cyd-gymmysgu, ac a offrymmid yn arogldarth beunyddiol i Dduw. Llawer math o drysorau eraill a draddodwyd iddo ef; gyd ag addurniadau cyssegredig y deml nid ychydig. Y pethau hyn, wedi eu traddodi fel hyn i Titus, a ynillodd i'r dyn hwn y cyffelyb bardwn neu ollyngdod; ag a ganiattaodd i'r rhai a enciliai o honynt eu hunain.

Yn awr y bryncynnau neu wrth-gloddiau oeddynt wedi eu gorphen, ar y seithfed ddydd o'r mis Gorpieus neu Elul, mewn deunaw diwrnod o amser; pan y dygodd y Rhufeiniaid eu peiriannau yn erbyn y mur. Ond am yr ymbleidwyr, rhai o honynt, megis wedi anobeithio achub y ddinas, a giliasant ymaith i'r tŵr oddi ar y mur; ac eraill a aethant i lawr i'r gwag-leoedd tan y ddaear: er i lawer etto amddiffyn eu hunain yn erbyn y rhai a ddygasent y peiriannau ar y gwrthglawdd. Etto y Rhufeiniaid a'u gorchfygasant hwynt wrth eu rhifedi, a'u nerth: a'r hyn oedd bennaf o'r cwbl, wrth fyned yn siriol ynghylch eu gwaith, pan oedd yr Iuddewon wedi llwyr ddigaloni, a myned yn weinion. Yn awr cyn gynted ag y curwyd rhan o'r mur i lawr, a rhai o'r tŷrau yn gogwyddo tan bwys y peiriaint dyrnodiol; y rhai oedd yn eu gwrthsefyll a ffoesant ymaith; a'r fath fraw a syrthiodd ar y gormeswyr ag oedd lawer mwy na'r achos a'i parai. Canys cyn i'r gelyn ddringo trosodd ar doriad y mur, yr oeddynt wedi hollol syfrdanu a hurtio, ac yn uniongyrch am ffoi ymaith. Ac yn awr y gallai un weled y dynion hynny, y rhai hyd yma a fuasent mor rhyfygus a thrahaus yn eu drwg-ymarferon, wedi eu taflu i lawr, ac yn grynedig: yn gymmaint ag yr oedd yn syndod i weled y cyfnewidiad a wnaed arnynt. Yn ganlynol hwy a redasant yn drachwyrn yn erbyn y mur Rhufeinig oedd yn eu cwmpasu hwynt; mewn trefn i yrru ymaith y rhai oedd yn ei gwylo; ac i dorri trwyddi yn eu ffoedigaeth. Ond pan welsant fod y rhai a fuasai gynt yn ffyddlon iddynt wedi myned ymaith: (ac yn wir hwy a ymadawsent i ba le bynnag y tueddai y cyfyngdra mawr yr oeddynt ynddo hwynt i fyned :) megis hefyd pan ddaeth y rhai a redasent o'r blaen i fynegu iddynt fod y mur gorllewinol wedi ei hollol ddadymchwelyd, tra y dywedai eraill dyfod o'r Rhufeiniaid i mewn; a'r lleill eu bod yn agos, ac yn edrych o amgylch am danynt, yr hyn yn unig a ddychymmygai eu hofn, pa un oedd yn twyllo eu golygon; hwy a syrthiasant ar eu hwynebau, gan alaru oblegid gwallgofrwydd eu hymddygiad; a giau neu rwym eu lwynau oeddynt mor ddychrynllyd wedi ymddattod, fel na's gallent ffoi ymaith. Ac yma y dichon un adfyfyrio ar awdurdod Duw, yn gweithredu ar y trueiniaid drygionus hyn, ac o blaid ymdrech llwyddiannus y Rhufeiniaid. Canys y gormeswyr hyn oeddynt yn awr wedi llwyr ymddifadu eu hunain o'r diogelwch oedd ganddynt o'r blaen yn eu meddiant, ac a ddisgynasant i lawr o'r tŷrau hynny o'u bodd eu hunain, ym mha le ni ellid fyth trwy drais eu cymmeryd hwynt, nac yn wir trwy un modd arall ond newyn. Ac fel hyn y darfu i'r Rhufeiniaid, wedi cymmeryd hir boen gyd â gwanach muriau, ynill, trwy ffortun dda, yr hyn ni allasent gyrraedd iddo trwy eu peiriannau. Canys tri o'r tŷrau hyn oeddynt ry gadarn i unrhyw beiriaint o gelfydd-waith pa bynnag.

Felly hwy yn awr a adawsant y tŷrau hyn o honynt eu hunain, neu yn hytrach hwy a yr-

† Pa beth a ddaethai o'r yspail yma a berthynau i'r deml, ac a ddiangodd oddiwrth y tân, Gwel Josephus ei hun yn ol hyn, VII. 5. a Reland ar Yspeiliad y deml, t. d. 129—138.

‡ Yr amryw bêr-lysiau hyn, yn 'chwaneg na'r pedwar math a ddescrifiwyd gan Moses, Exod. xxxi. 34. ni welwn eu bod yn cael eu harfer yn yr addoliad cyhoeddus yn nheml Herod, yn enwedig y sinnamon â'r casia. Yr hyn y mae Reland yn neillduol sylwi arno; ac yn cyttuno a thystiolaeth ddiwaethaf y Talmudiaid.

rwyd allan o honynt gan Dduw; a hwy a ffoisant yn union-gyrch i'r dyffryn gerllaw Siloam: lle y darfu iddynt drachefn adferu eu hunain o'r ofn ag a fuont tros ychydig amser ynddo: ac a ruthrasant yn nerthol yn erbyn y rhan hynny o'r mur Rhufeinig oedd yn gorwedd ar yr ochr hwnnw. Ond fel yr oedd eu cefnogogrwydd wedi gwasgu yn rhy drwm arno i wneud ymasodiad gyd â nerth digonol, a'u grym yn awr wedi ei dorri gan ofn a chyfyngder, hwy a yrrwyd yn ol gan y gwarcheidwaid; a chan ymwasgaru i ryw bellder y naill oddi wrth y llall, hwy a aethant i lawr i'r ffauau, neu ogofeydd tan y ddaear. Felly y Rhufeiniaid wedi dyfod yn awr yn feddianol o'r muriau, hwy a osodasant eu peiriaint ar y tŷrau, ac a wnaethant floddest o lawenydd am y fuddugoliaeth a ynnillasent; gan gael o honynt ddiwedd y rhyfel hwn yn llawer ysgafnach na'i ddechreuad. Canys wedi iddynt ynnill y mur diwaethaf heb dywallt gwaed, prin y credent yr hyn a gawsant yn wirionedd: ond heb ganfod neb i'w gwrthwynebu hwy a ammheuasant beth a allai fod achos y fath unigolrwydd. Ond pan aethant yn lluoedd i heolydd y ddinas â'u cleddyfau yn eu dwylaw, hwy a laddasant y rhai a oresgynnent yn ddi-drugaredd; ac a osodasant y tai ar dân i ba rai y ffoesai yr Iuddewon, gan losgi pob peth a'r oedd ynddynt; ac a ddymchwelasant lawer o'r lleill: a phan ddaethant i'r tai i'w hyspeilio, hwy a gawsant ynddynt deuluoedd cyfain o ddynion meirwon; a'r ystafelloedd uchaf yn llawn o gyrph y rhai a fuont feirw gan y newyn. Yna y safasant yn arswydo wrth yr olwg yma, ac a aethant allan heb gyffwrdd ag un peth. Ac er bod ganddynt y tosturi hwn at y rhai a ddifethwyd y modd hynny, etto nid oedd ganddynt y cyffelyb tu ag at y rhai oedd etto yn fyw: ond rhedent trwodd â'r cleddyf bob un a gyfarfyddent; a rhwystrasant y dramwyfa trwy'r heolydd â'u cyrph meirwon: ac a wnaethant yr holl ddinas i ffrydio gan waed, a hynny yn wir i'r fath raddau ag y diffoddwyd y tân yn amryw deiau â gwaed y dynion hyn. A digwyddodd felly er darfod i'r lladdwyr adael heibio eu gorchwyl yn yr hwyr; etto y tân a gynnyddodd yn fawr y nos honno. Ac fel yr oedd y cwbl o'r ddinas ar dân, daeth yr wythfed dydd hwnnw o'r mis Gorpieus, neu Elul ar † Jerusalem: dinas ag a fuasai ddarostyngedig i lawer o helbulon a chyfyngderau yn oed parhad y gwarchaedigaeth hwn, yr hon pe buasai yn wastadol yn mwynhau y fath fesur o ddedwyddwch er ei sylfaeniad cyntaf, buasai yn sicr yn gynfigen yr holl fyd. Ac ni ddarfu ar un cyfrif arall iddi haeddu blinderau mor drymion a thrwy gynnwys y fath genedl o ddynion ag a fu yn achos o'i dadymchweliad.

## PENNOD IX.

*Am ymddygiad Cæsar ar ddarostyngiad y ddinas; rhifedi y rhai a gymmerwyd yn gaethion, ac a ddifethwyd yn amser y cynllwyn: hefyd ymherthynas i'r rhai a ddiangasant i'r ogofeydd, ymhlith pa rai yr oedd y gorthrymwyr, Simon a Ioan.*

YN awr wedi dyfod Titus i'r ddinas uchaf, fe ryfeddodd wrth yr amryw leoedd o gadernid oedd ynddi; ac yn enwedig y tŷrau cedyrn a ddarfu i'r gormeswyr yn eu hymddygiad gwallgofus eu gadael. Canys wedi canfod eu huchder ‡ cyfangwbl, a maintioli eu hamrywiol feini, a chymhwysder eu cyssylltiad; megis hefyd eu lled mawr, a helaethrwydd eu hyd, fe ymadroddodd yn y dull canlynol: "Nyni yn sicr a gawsom Dduw yn gynnorthwywr i ni yn y rhyfel hwn: ac nid ydoedd neb amgen na Duw a fwriodd yr Iuddewon allan o'r ymddiffynfeydd hyn. Canys beth a allasai dwylaw dynion, neu unrhyw beiriannau wneuthur tu ag at ddadymchwel y tŷrau hyn?" Ar ba amser bu ganddo amryw o'r fath ymddiddanion â'i gyfeillion. Efe hefyd a adawodd i'r rhai hynny fyned yn rhyddion a rwymasid gan y gorthrymwyr, ac a adawsid yngharchar. I ddiweddu, pan lŵyr ddifrododd weddill y ddinas, a dadymchwelyd ei muriau, fe adawodd y tŷrau hyn i sefyll yn gof-golofnau o'i lwyddiant, y rhai a brofasant yn gynnorthwyol iddo; ac a'i galluogodd i gymmeryd yr hyn mewn modd amgen ni chymmerasid ganddo.

Ac yn awr fel yr oedd y milwyr eisoes wedi blino ar ladd dynion, a lliaws mawr yn ymddangos etto wedi eu gadael yn fyw; gorchymynodd Cæsar na laddent neb ond rhai a fyddent tan arfau, ond cymmeryd o honynt y lleill yn

† B. A. 70. Dwy flynedd ar bymtheg ar hugain a hanner ar ol croeshoeliad y Messia.

‡ Gwel Llyfr V. pen. 4.

fyw. Eithr ynghyd â'r rhai a archwyd iddynt ladd, hwythau hefyd a laddasant rai afiach ac oedranus. Ond am y rhai oedd ym mlodau eu hoedran, a'r rhai a fyddent oddefnydd iddynt, hwy a'u gyrrasant ynghyd i'r deml; ac a'u cauasant i fynu o fewn muriau cyntedd y merched. Ar ba le y gosododd Cæsar yn olygwr un o'i wŷr rhyddion; megis hefyd Fronto, un o'i gyfeillion ei hun: yr hwn ddiweddaf un oedd i ben derfynu tynghedfen pob rhai o honynt yn ol eu haeddedigaethau. Felly y Fronto hwn a laddodd bob rhai a fuasai yn ymbleidwyr ac yspeilwyr, y rhai a gyhuddid y naill gan y llall. Ond o'r gwŷr ieuaingc fe ddetholodd allan y rhai hwyaf eu corpholaeth a harddaf eu gwedd; ac a'u cadwodd erbyn dydd y llawenychiad am y fuddugoliaeth. Ac am eraill o'r lliaws oedd uwchlaw ddwy flwydd ar bymtheg o oedran, fe'u dododd tan rwymau, ac a'u danfonodd i fwyngloddiau'r * Aipht. Titus hefyd a ddanfonodd nifer fawr i'r taleithiau, megis yn anrheg iddynt: fel y difethid hwynt yn eu chareufannau gan y cleddyf, a chan fwystfilod gwylltion. Ond y rhai tan ddwy flwydd ar bymtheg o oed, hwy a werthwyd yn gaeth-weision. Yn awr yn oed y dyddiau y bu Fronto yn gwahaniaethu y dynion hyn, fe ddifethwyd o eisiau lluniaeth un ar ddeg o filoedd. Rhai o'r cyfryw ni chaent brofi dim bwyd, trwy'r casineb oedd gan y gwarcheidwaid tu ag attynt: ac eraill ni chymmerent ddim pan y cynhygid iddynt. Y lliaws hefyd ydoedd mor fawr fel ag yr oedd diffyg ymborth arnynt i'w cynhaliaeth.

Yn awr † rhifedi y rhai a gaeth-gludwyd, yn oed yr holl ryfel hwn, a gyfrifid yn ddwy fil ar bymtheg a phedwar ugain; megis yr oedd nifer y rhai a ddifethwyd yn holl amser y gwarchae yn un cant ar ddeg o filoedd. Y rhan fwyaf o ba rai yn wir oeddynt o'r un genedl a dinasyddion Jerusalem; ond nid yn perthyn i'r ddinas ei hun. Canys hwy a ddaethant i fynu o'r holl wlad i ŵyl y bara croyw; ac a gauasid arnynt yn ddisymmwth i fynu gan y fyddin Rufeinig: yr hyn yn y dechrau a barodd y fath gyfyngder yn eu mysg, ag y daeth haint dinystriol arnynt; ac yn fuan ar ol hynny y fath newyn ag a'u difethodd yn gyflymach. Ac y gallai'r ddinas hon gynnwys y fath nifer o bobl ynddi sydd amlwg, oddiwrth y rhifedi a gymmerwyd tan Cestius. Yr hwn yn ewyllysio gwneuthur Nero yn hysbys o flodau'r ddinas, pa un mewn modd amgen oedd dueddol i ddiystyru'r genedl honno, a ddeisyfodd ar yr archoffeiriaid, o byddai'r peth yn bosibl, i gymmeryd cyfrif o'u holl liaws. Felly yr archoffeiriaid a wnaeth hynny ar ddychweliad o'r ŵyl a elwir y Pasg, pan laddent eu haberthau o'r nawfed awr hyd yr unfed ar ddeg; ond yn y cyfryw fodd ag y byddai'r nifer o ddim llai na ‡ deg, yn perthyn i bob aberth: (canys nid yw gyfreithlon iddynt wledda yn unigol ar eu pennau eu hunain:) A llawer o honom sydd yn nifer o ugain ar yr achos hwnnw. Yn awr rhifedi yr aberthau ydoedd ddau cant a deuddeg a deugain o filoedd, a phum cant; yr hyn, heb ganiattau i ychwaneg na deg fod yn cyd-wledda, sydd yn gwneuthur i fynu § ddau fyrddiwn, saith gant o filoedd, a dau cant o bersonau, ag oedd wedi eu puro a'u sancteiddio yn seremonïol. Canys am y rhai sydd â'r gwabanglwyf; neu'r ginorrhœa, sef yr had-lif arnynt; neu'r cyfryw ag sydd ryw fodd arall yn halogedig, nid i'w gyfreithlon iddynt hwy gyfrannogi o'r aberth hwn. Nac yn wir i neb dieithriaid a ddeuant yno i addoli.

Yn awr y lliaws aneirif yma a ymgasglasent ynghyd o leoedd pellach. Ond yr holl genedl y pryd hyn a gauasid i fynu trwy dynghedfen, megis mewn carchar; a'r fyddin Rufeinig a am-

* Gwelwch yr amryw ragfynegiadau, y byddai i'r Iuddewon, os ymlynent wrth eulun-addoliaeth a drygioni, gael eu hanfon drachefn, neu eu gwerthu i'r Aipht, yn gospedigaeth arnynt: Deut. xxviii. 68. Jer. xliv. 7. Hos. vii. 13.----ix. 3.----xi. 5. Esdras xv. 10---13.

† Holl liaws yr Iuddewon a ddifethwyd yn oed saith mlynedd cyn yr amser hwn, yn holl ardaloedd Judea, a'r lleoedd ar ei therfynau, a gesglir gan yr archesgob Usher, o Lipsius, allan o Josephus, ar y flwyddyn o oed Crist 70; ac yn gwneuthur ynghyd 1,337,490. Ac ni allai fod y nifer hwnnw o Iuddewon yn Jerusalem i'w difetha yn y gwarchae hwn, fel y gosodir yn fnau i lawr gan Josephus; ond bod Iuddewon a phroselytiaid newydd ddyfod i fynu o wledydd eraill, Galilea, Samaria, Judea, a Pherea, ac o daleithiau pellach, i ŵyl y Pasg, yn aneirif liaws: ac yno a gauwyd i fynu arnynt, megis mewn carchar, gan y fyddin Rufeinaidd, fel yr iawn sylwia Josephus ei hun mewn lle arall, V. 3.

‡ Y rhifedi yma ynghyd gogyfer ag un oen Pasg, rhwng 10 ac 20, sy'n cyttuno yn gymmwys â'r nifer 13, ar Basg diweddaf ein Iachawdwr. Am holl rifedi'r Iuddewon a arferent ddyfod i fynu ar y Pasg, ac i fwytta o hono yn Jerusalem, Gwel y nod ar II. 14. Y nifer yn wir a ddylai fod yma yw dengwaith rifedi yr ŵyn, neu uniawn 2 565,000, wrth ymresymiad Josephus ei hun. Pryd y mae, yn ei gopiau presennol, yn ddim llai na 2,700,000. Ond y peth sydd fwyaf hynod yma yw hyn; na ddaeth un genedl ddieithriol erioed y modd hwn i ddifetha'r Iuddewon ar un o'u gŵyliau arbennig, o ddyddiau Moses hyd yr amser hwn: ond a ddaethant yn awr, ar eu gwrthgiliad oddiwrth Dduw, ac oddiwrth ufudddod iddo ef. Gwel y nod ar II. 19. Ac nid yw bosibl, yn natur pethau, i fod yn un genedl arall i'r fath rifedi aneirif ddyfod i'r unfan, a'u difetha ynghynulliwyniad un ddinas arall pa bynnag, megis ag y digwyddodd yn awr yn Jerusalem.

§ Dau fyrddiwn, pum cant a phump a thrugain o filoedd.

gylchynodd y ddinas, pan ydoedd wedi ei phentyrru â thrigolion. Yn ganlynol lliosogrwydd y rhai a ddifethwyd ynddi a ragorodd ar bob dinystr a ddygwyd gan ddynion neu Dduw erioed ar y byd. Canys i lefaru ond yn unig am yr hyn a wybuwyd yn gyhoeddus, y Rhufeiniaid a laddasant rai; eraill a gaeth-gludasant; a'r lleill a chwiliasant am danynt tan y ddaear; a phan gawsant y lle yr oeddynt ynddo, hwy a rwygasant i fynu'r llawr, ac a laddasant y rhai oll a gyfarfuant. Cafwyd hefyd wedi eu lladd yno ddwy fil o bersonau: mewn rhan ganddynt eu hunain, ac mewn rhan y naill gan y llall; ond yn fwyaf cyffredin wedi eu difetha gan y newyn. Ond yna trwm-arogliad y cyrph meirwon ydoedd mor annioddefol i'r rhai a'u gwelsant, fel y gorfu i rai fyned ymaith yn uniongyrch; pan yr oedd eraill mor chwannog i elw, fel yr aent i mewn i blith y cyrph a orweddent yn syppiau, ac a sangent arnynt. Canys llawer o drysorau a gaed yn yr ogofeydd hyn; a'r gobaith o elw a barai i bob ffordd o'i feddiannu ymddangos yn gyfreithlon. Llawer hefyd o'r rhai a roesid yngharchar gan y gorthrymwyr a ddygwyd yn awr allan: canys ni adawsent hwy heibio eu barbariaeth greulon hyd y diweddaf. Etto fe ddialodd Duw arnynt bob un mewn modd unol â'i gyfiawnder. Ymherthynas i Ioan, bu arno fawr ddiffyg lluniaeth, ynghyd â'i frodyr, yn yr ogofeydd hyn; ac a erfyniodd am i'r Rhufeiniaid roddi iddo yn awr eu deheulaw er ei ddiogelwch, yr hyn yn falchiaidd a fynych wrthodasai o'r blaen. Ond am Simon, fe ymdrechodd yn galed â'r cyfyngder yr ydoedd ynddo, nes gorfod o hono roddi ei hun i fynu, fel yr adroddwn ar ol hyn. Felly fe'i cadwyd hyd y llawenychiad diweddaf am y fuddugoliaeth; ac yna i gael ei ladd: megis ag y barnwyd Ioan i wastadol garchariad. Ac yn awr y Rhufeiniaid a osodasant ar dân gyrrau eithaf eraill y ddinas, gan eu llosgi i lawr, a llwyr ddadymchwelyd ei muriau.

## PENNOD X.

*Byr adroddiad o hanes Jerusalem.*

FEL hyn y cymmerwyd Jerusalem, yn yr ail flwyddyn o deyrasiad Vespasian, ar yr wythfed dydd o'r mis Gorpieus, neu Elul. * Cymmerasid hi bum waith eraill o'r blaen; er mai hwn oedd yr ail waith o'i hanghyfaneddiad. Canys Shisac, brenin yr Aipht; ac ar ei ol ef Antiochus; ar ei ol yntau Pompey; ac yna Sosius a Herod a gymmerasant y ddinas; ond etto a'i harbedasant, heb ei hanghyfanneddu. Ond o flaen y rhai hyn oll, brenin Babilon a'i congcwerodd, ac a'i difrododd hi: un mil, pedwar cant, ac wyth a thrugain o flynyddau, gyd â chwe mis, ar ol ei hadailadaeth gyntaf. Ond yr hwn yn † gyntaf a'i hadeiladodd oedd un gallnog ym mhlith y Canaaneaid; ac a elwir yn ein tafodiaith ni Melchisedec, y brenin cyfiawn; canys y fath yn sicr ydoedd. Ar ba gyfrif efe a fu yno yn offeiriad cyntaf i Dduw: ac a adeiladodd deml, gan alw y ddinas Jerusalem; yr hon o'r blaen a elwid Salem. Pa fodd bynnag Dafydd, brenin yr Iuddewon, a fwriodd allan y Canaaneaid ac a sefydlodd ei bobl ei hun yno. Fe'i difrodwyd yn llwyr gan y Babiloniaid, bedwar cant, dwy ar bymtheg a thrugain o flynyddau, a chwe mis ar ei ol ef. Ac o amser y brenin Dafydd, yr hwn oedd y cyntaf o § Iuddewon a deyrnasodd yno, hyd y dinystr hwn tan Titus, yr ydoedd un mil, un cant, a phedwar ar bymtheg a thrugain o flynyddau. Ond er ei hadeiladaeth cyntaf hyd y distrywiad olaf hwn, yr ydoedd dwy fil, un cant, a phedwar ar bymtheg a thrugain o flynyddau. Etto ni fu ei hynafiaeth mawr, ei chyfoeth helaeth, na thaeniad ei ‖ chenedl tros yr holl ddaear gyfanneddol, na mawredd y parch a ddangosid iddi ar gyfrif crefyddoliaeth, yn ddigonol i'w chadw rhag ei dinystrio. Ac fel hyn y diweddodd cynllwyn, neu warchaedigaeth Jerusalem.

* B. A. 70.

† Heblaw y pump a grybwyllir yma, o'r rhai gynt a gymmerasent Jerusalem; Josephus trwy adgoffa ymhellach, sy'n gwneud cyfrifiad o chwechfed; Hynaf. XII. 1 yr hwn a ddylesid ei roddi i mewn yma yn yr ail le, fy meddwl yw Ptolemy, mab Lagus.

‡ Pa ham y dywedai yr enwog Bochart, "Fod cynnifer o gam-gymmeriadau ag sydd o eiriau yn y diweddglo hwn o'r eiddo Josephus," ni fedraf mewn un modd ddirnad. Josephus a ddywedodd, mai Melchisedec gyntaf a adeiladodd, neu a ail-adeiladodd, ac a addurnodd y ddinas hon; a'i galw hi y pryd hynny Salem, megis yn Sal. lxxvi. 2; ac ym mhen amser ar ol hyny Jerusalem: a darfod i Melchisedec, yr hwn ydoedd offeiriad, yn gystal a brenin, adeiladu yno deml i'r gwir Dduw, neu le o gyhoedd ddwyfol addoliad ac aberthau. Yr holl bethau hyn a allant fod yn wirionedd, er a wyddom ni i'r gwrthwyneb.

§ O lwyth Judah.

‖ Neu ei chenedl.

D. S. Dyma'r lle priodol i'r rhai a sylwiant yn graff ar y llyfrau diweddaf hyn am y rhyfel, i ddarllen trosodd, a hynny gyd â'r manylrwydd mwyaf, ragddywediadau Iesu o Nazareth, yn yr efengylau perthynol i hynny, megis wedi eu cwbl gyflawni yn hanesiad Josephus: Ar ba ryw gyflawniad, fel yr iawn sylwia Dr. Whitby yn ei Esponiad ar Math. xxiv. 2, y mae rhan nid bychan o wirionedd y Grefydd Gristionogol yn ymddibynnu.

# LLYFR VII.

*Yn cynnwys Amseriad o gylch Tair Blynedd a Hanner.*

## O'R AMSER Y CYMMERWYD JERUSALEM GAN TITUS HYD YMRYSONIAD YR IUDDEWON YN CYRENE.

### PENNOD I.

*Am ddymchweliad holl ddinas Jerusalem oddigerth tri o dŷrau. Hefyd am y cymmeradwyaeth a ddangosodd Titus tu ag at ei filwyr, a'i ddosparthiad haelionus o wobrwyon.*

MOR gynted ag y daeth y fyddin heb ychwaneg o bobl ganddynt i'w lladd, neu ddim yspail i'w gymmeryd, o herwydd na weddillasid neb i fod yn wrthddrychau eu llidiowgrwydd; (canys ni arbedasent un, pe buasai y fath orchwyl drachefn i'w gyflawni:) Cæsar a roddodd orchymmyn a'r fod iddynt ddifrodi yr holl ddinas a'r deml: ond bod iddynt adael cynnifer o'r tŷrau i sefyll ag oedd o fwyaf enwogrwydd: megis Phasaelus, Hippicus, a Mariamne; a chymmaint o'r mur ag a amgylchai'r ddinas ar du'r gorllewin. Y mur hwn a arbedwyd, mewn trefn i gynnwys gwersyllfa i'r milwyr a osodid yno yn warcheidwaid: megis hefyd y gadawid y tŷrau, mewn trefn i amlygu i genedlaethau ar ol pa fath ddinas gadarn ydoedd, ac mor rhagorol ei hamddiffynfa oedd, yr hon a ddadymchwelwyd gan wrolder Rhufeinaidd. Ond am y rhan arall o'r mur, fe'i llwyr gydwastattawyd â'r llawr, gan y rhai a gloddiasant i fynu ei sylfeini, fel na adawyd dim a barai i rai a ddeuent yno gredu fod y fath le wedi ei gyfanneddu. Dyma'r diwedd yr hwn y daeth Ierusalem iddo, trwy wallgof y rhai ag ydoedd am ddadymchwel y llywodraeth: dinas, pe amgen, o odidowgrwydd mawr oedd hon, a hynod ei chlod ym mysg holl ddynolryw.

Cæsar a benderfynodd sefydlu, fel gwarchawdlu yno, y degfed lleng; gyd â lluoedd o wŷr meirch, a minteioedd o wyr traed. Felly wedi hollol gwblhau y rhyfel hwn, fe ewyllysiodd ddangos ei foddlonrwydd tu ag at ei holl fyddin, ar gyfrif y gorchestion mawr a wnaethant; ac i gyfrannu gwobrwyon addas i'r rhai a hynodasent eu hunain ynddo. Gosodwyd gan hynny orseddfaingc dderchafedig iddo, ynghanol y lle y buasai gynt yn gwersyllu ynddo; ac fe safodd i fynu arni, gyd â'i brif-flaenoriaid o'i amgylch, gan lefaru yn y fath fodd ag y clywai yr holl fyddin yn y modd canlynol: "Ei fod yn dychwelyd llawer o ddiolch iddynt am eu hewyllys da a ddangosasent tu ag atto. Canmolodd hwynt am yr ufudd-dod parod a ddarfu iddynt ei amlygu yn yr holl ryfel hwn: pa ryw ufudddod a ymddangosodd trwy'r peryglon mynych a mawrion a fuasent ynddynt: megis hefyd am y calondid a ddangosasent: gan ddarfod wrth hynny iddynt, o honynt eu hunain, chwanegu awdurdod eu gwlad; a gwneuthur yn amlwg yngolwg pob dynion, nad oedd lliosogrwydd eu gelynion, cadernid eu lleoedd, maintioli eu dinasoedd, na'u hyfdra byrbwyll, a chynddaredd bwystfilaidd fod yn ddigonol un amser i ragori ar wrolder Rhufeinig; er y gallai ddigwydd i rai o honynt gael ffortun, mewn llawer ystyr, o'u plaid. Dywedodd ymhellach, nad oedd ond rhesymol iddynt ddodi terfyn yn awr ar y rhyfel hwn, wedi parhau o hono gyhyd o amser: oblegid nad oedd ganddynt ddim gwell i'w obeithio pan aethant i mewn iddo. A darfod i hyn ddigwydd yn fwy ffafriol iddynt hwy, ac er ychwaneg o glod, fel yr oedd yr holl Rufeiniaid yn ewyllysgar wedi gwneud derbyniad o'r rhai hynny yn llywodraethwyr, a threfnwyr eu harglwyddiaethau, y rhai a ddewisasant hwy iddynt, ac a'u danfonasent i'w gwledydd eu hunain i'r pwrpas hwnnw; pa ryw fannau oedd etto yn parhau tan oruchwyliaeth y rhai a ddewisent hwy; ac a oeddynt yn ddiolchgar am eu hethol iddynt. Mai yn ganlynol, er ei fod yn eu mawr berchi, a'u hanrhydeddu oll, am y gwyddai fod pob un o honynt wedi myned mor siriol ynghylch eu gwaith, ag yr oedd eu cymmwysiadau a'u cyfleusderau yn caniattau iddynt; etto dywedodd y gwobrwyai yn uniongyrch, ac y dyrchafai y rhai hynny a ymladdasent gyd â mwyaf o ddewrder a gwroldeb; ac a hynodasant eu hymddygiad yn y modd mwyaf rhagorol; gan wneud ei fyddin yn fwy enwog a chlodfawr trwy eu gorchestion ardderchog; ac fel na byddai i

neb a fuasai yn ewyllysgar i gymmeryd mwy poen nag eraill, fethu o daledigaeth gyfiawn am yr unrhyw. Oblegid iddo ef fod yn dra gofalus ynghylch yr achos hwn: a hynny yn fwy, oblegid ei fod yn dewis yn hytrach wobrwyo rhinweddau ei gyd-filwyr, na chospi y rhai a drosoddasant."

Ar hyn Titus a archodd iddynt hwy, i ba rai y perthynai y gwaith hwnnw, ddarllen y gofrestr o'r rhai oll a wnaethent orchestion hynod yn y rhyfel hwn. Yna fe alwodd arnynt atto wrth eu henwau, ac a'u canmolodd o flaen ei gyfeillion; gan lawenychu ynddynt yr un modd ag y llawenychai arall yn ei orchestwaith ei hun. Efe hefyd a ddododd ar eu pennau goronau aur, ac addurniadau euraidd o amgylch eu gyddfau: gyd â gwaywffyn hirion o aur, a banerau a wnaethid o arian; ac a symmudodd bob un o honynt i uwch gradd neu sefyllfa. Ac heblaw hyn, fe ddosparthodd yn helaethlawn yn eu mysg, o'i yspail ei hun, a'r ysglyfaeth arall a gymmerasent; arian, ac aur, a gwisgoedd. Felly wedi i'r holl anrhydedd yma gael ei wneuthur, yn ol ei appwyntiad ei hun i bob un, ac ewyllysio o hono bob math o ddedwyddwch i'r holl fyddin; fe ddisgynodd i lawr ynghanol bloeddiadau a chrechwenau a wnaed gan y lliaws; ac yna fe aeth ynghylch aberthu diolchoffrwm i'r duwiau; ac ar unwaith a aberthodd rifedi mawr o ychain, ag oedd yn sefyll yn barod wrth yr allorau; ac a'u rhannodd ym mhlith y fyddin i wledda arnynt. Ac wedi iddo aros tridiau gyd â'i ben blaenoriaid, a chyhyd a hynny gyd-wledda â hwynt; fe ddanfonodd ymaith weddill ei fyddin i'r amryw leoedd ym mha rai y gwelid yn oreu fod eu sefyllfa: ond fe ganiattaodd i'r ddegfed lleng aros, fel gwarchawdlu yn Jerusalem: ac ni ddanfonodd y rhai hynny ymaith tu hwnt Euphrates, lle y buasent o'r blaen Ac fel y darfu iddo adgoffa yr enciliad a wnaethai y ddeuddegfed lleng, wrth ymladd â'r Iuddewon tan Cestius, fe'u bwriodd allan o holl Syria; canys hwy a orweddent o'r blaen yn Raphanea: ac fe'u danfonodd ymaith i le a elwid Meletine, yn agos i Euphrates; yr hyn yw terfynau Armenia a Chappadocia. Barnodd hefyd yn gymmwys i ddwy o'r llengau sefyll gyd ag ef, hyd oni elai i'r Aipht. Yna fe aeth i wared gyd â'i fyddin i'r Cæsarea honno a orwedd ar lan y mor, ac yno a osododd i fynu weddill ei anrhaith yn fesurau mawrion: a rhoddodd orchymmyn a'r fod i'r caethion gael eu cadw yno; canys y tymmor gauaf oedd yn lluddias iddo y pryd hynny fordwyo i'r Ital.

## PENNOD II.

*Titus yn gwneuthur dangosiadau cyhoeddus o bob math yn Cæsarea Philippi. Hefyd am oresgyniad Simon y gorthrymwr.*

YN awr ar yr amser ag yr oedd Titus Cæsar yn aros yngwarchae Jerusalem, Vespasian a aeth ar fwrdd llong marsiandwr, ac a hwyliodd o Alexandria i Rhodes. Oddi yno fe aeth ymaith mewn llongau â thair rhes o rwyfau; ac fel yr aeth heibio i amryw ddinasoedd oedd yn gorwedd yn ei ffordd, fe dderbyniwyd yn roesawgar iawn ganddynt oll; ac felly fe aeth trosodd o Ionia i Groeg. Yna fe hwyliodd ymaith i Corcyra, i benrhyn Iapyx; o ba le y cymmerodd ei daith ar hyd dir. Ond am Titus, fe aeth ymaith o'r Cæsarea honno a orweddai ar lan y môr, ac a ddaeth i'r un a elwid Cæsarea Philippi, ac a arhosodd yno ennyd o amser; gan wneuthur arddangosiad o bob math o olygiadau cyhoeddus yno. Ac yma nifer fawr o'r caethion Iuddewig a ddifethwyd: o ba rai amryw a fwriwyd i fwystfilod gwylltion; ac eraill o orfod a wnaed iddynt yn lliaws ladd eu gilydd fel pe buasent elynion. Ac yma yr hysbyswyd i Titus am oresgyniad Simon, mab Gioras; yr hyn a ddigwyddodd yn y modd canlynol.

Y Simon hwn, yn oed y gwarchae ar Ierusalem, ydoedd yn y dinas * uchaf. Ond wedi i'r fyddin Rufeinig ddyfod y tu fewn i'r muriau, ac yn dyfrodi'r ddinas, yna y cymmerodd y rhai ffyddlonsf o'i gyfeillion gyd ag ef; ac yn eu plith rai ag oedd yn naddwyr meini, a'r offeryniau heiyrn a berthynai i'w galwedigaeth; ac â chymmaint o liniaeth a'u digonai tros hir amser: a gollyngodd ei hun, a'r rhai oedd gyd ag ef i lawr i ogofeudd, nad oeddynt yn weledig uwchlaw'r ddaear. Yn awr mor belled ag y cloddiasid y lle mewn amserau gynt, hwy a aethant ym mlaen trwyddo yn ddirwystr: ond pan gyfarfyddent â daear gyfan hwy a gloddient tani; a hynny mewn gobaith y gallent fyned ym mlaen mor bell, ag i ddyfod i fynu drachefn uwchlaw

* Mynydd Seion.

y ddaear, a thrwy'r modd hynny ddiangc ymaith. Ond pan ddaethant i wneud prawf o hyn, hwy a siommwyd yn eu gobaith: canys ni allai'r cloddwyr fyned ond ychydig ym mlaen a hynny gyd ag anhawsdra hefyd: fel ag y dechreuodd eu hymborth, er ei rannu rhyngddynt wrth fesur, faethu. Ac yn awr Simon yn dychymmygu y gallai frawychu a thwyllo y Rhufeiniaid, a ymwisgodd â hugan wen, ac a glymmodd arni fantell borphor; ac yna a ymddangosodd uwch y ddaear, yn y lle y safai'r deml gynt. Ar y cyntaf yn wir parodd i'r rhai a'i gwelsant syndod mawr; fel y safasant yn llonydd lle yr oeddynt. Ond ar ol hynny hwy a nesasant atto, ac a ofynasant iddo pwy ydoedd? Yn awr ni ddywedai Simon hynny iddynt; ond fe barodd iddynt alw am eu cadben. A phan redasant i alw arno, * Terentius Rufus, yr hwn a adawsid yn flaenor y fyddin yno, a ddaeth at Simon, ac a gafodd wybod yr holl wirionedd ganddo: wedi hyn fe'i cadwodd mewn rhwymau; ac a ddanfonodd at Cæsar i'w wneud yn hysbys ei fod wedi ei gymmeryd. Fel hyn y dygwyd y dyn yma gan Dduw i'w gospi am y creulondeb a'r chwerw orthrymder a arferasai yn erbyn ei gydwladwyr, gan y rhai ag ydoedd ei elynion gwaethaf; a hyn pan na ddarostyngwyd ef trwy orfod, ond yn wirfoddol a draddododd ei hun iddynt i gael ei gospi; trwy'r cyffelyb foddion ag y cam-gyhuddodd yr Iuddewon o'i blegid, sef eu bod yn cwympo ymaith at y Rhufeiniaid, ac wrth hynny yn farbaraidd a'u lladdasai hwynt. Canys nid yw gweithredoedd o ddrygioni ac anghyfiawnder yn diangc rhag dwyfol ddialedd, ac nid yw cyfiawnder yn rhy wan i gospi troseddwyr: ond mewn amser fe oddiwedda y troseddwyr hynny o'i gyfreithiau; ac a esyd eu dedryd o gospedigaeth ar yr annuwiol gyd â mwy mesur o doster, ag y disgwyliasant hwy gael diangfa rhagddynt, ar gyfrif eu bod † heb eu cospi yn fuan. Simon a wnaethpwyd yn brofiadol o hyn, trwy syrthio tan ddigllonrwydd y Rhufeiniaid. Ei gyfodiad ef i fynu fel hyn o'r ddaear, a fu hefyd yn achos o ddatguddio rhifedi mawr o'r ymbleidwyr eraill yr amser hwnnw, a guddiasent eu hunain tan y ddaear. Ond Simon a ddygwyd at Cæsar tan rwymau, wedi ei ddyfod yn ol i'r Cæsarea ar lan y mor; yr hwn a roddes orchymmyn i'w gadw erbyn y dydd o lawenychiad ag oedd i'w gynnal yn Rhufain ar yr achos hwn.

## PENNOD III.

*Am ddistrywiad llawer o'r Iuddewon ar ddydd gwyl genedigaeth Domitian a Vespasian. Hefyd ymherthynas i'r perygl y bu'r Iuddewon ynddo yn Antioch, trwy'r moddion o droseddiad ac annuwiaeth un Antiochus*

TRA'r oedd Titus yn Cæsarea, fe gynhaliodd ŵyl ar ‡ ddydd-genedigaeth ei frawd Domitian, mewn dull godidog; ac a gyflawnodd lawer o'r gospedigaeth a fwriadasid i'r Iuddewon ar y dydd hwnnw, o anrhydedd iddo ef. Canys nifer y rhai a ddifethwyd yn awr wrth ymladd â bwystfilod gwylltion, ac a losgwyd, ac hefyd trwy ymladd â'u gilydd, ydoedd uwchlaw dwy fil, a phum cant. Etto hyn oll a ymddangosodd i'r Rhufeiniaid, pan ddifethid hwynt fel hyn ddeng mil o flyrdd, yn gospedigaeth islaw eu haeddiant. Ar ol hyn Cæsar a ddaeth i § Berytus, yr hon sydd ddinas o Phœnicia, perthynol i'r Rhufeiniaid: ac fe arhosodd yno fwy o amser, gan osod i fynu ŵyl arderchoccach nag o'r blaen ar ‖ ddydd-genedigaeth ei dad; yn gystal trwy odidowgrwydd y dangosiadau cyhoedd, ac yn ehangder y draul a gymmerodd yn arlwyo gogyfer â'r unrhyw. Fel ag y bu i nifer fawr o'r caethion gael eu difetha yma hefyd.

Digwyddodd hefyd ynghylch yr amser hwn,

* Y Terentius Rufus hwn, fel y sylwia Reland mewn rhan yn y lle yma, ydyw yr un person ag a eilw y Talmudiaid Turnus Rufus: am yr hwn yr adroddant, "Iddo arddu Sion fel maes; a gwneuthur Jerusalem yn garneddau; a mynydd y tŷ fel uchel-leoedd y goedwig:" yr hyn er's hir amser o'r blaen a ragddywedasid am dano gan y prophwyd Mica iii. 12. ac a ail-goffawyd o hono ef y'mhrophwydoliaeth Jeremia xxvi. 18.

† Gwel Preg. viii. 11.

‡ Dydd-genedigaeth Domitian a syrthiodd ar Ragfyr 30, fel y dywed yr archesgob Usher, B. A. 70. ac o hono ef Dr. Hudson. Pa fodd y daeth yr archesgob a'r dysgawdwr i feddwl felly ni fedraf ddirnad; gan ddywedyd o Suetonius ei eni y 9fed o fis Tachwedd, h. y. ar y 24 o Hydref, yn ol y cyfrifiad Brutanaidd.

§ Y Berytus hon ydoedd yn sicr yn drefedigaeth Rufeinig: yr hon sydd ag arian a fathwyd yno hyd yn bresennol, fel y mae Hudson a Spanheim yn tystio i ni. Gwel y nod ar Hynaf. XVI. 11.

‖ Y dydd-genedigaeth hwn o eiddo Vespasian, a newidir yma allan o waith yr archesgob Usher, ar y flwyddyn 71, oddi wrth ei iawn ddydd-genedigaeth, yr hwn a ddywed Suetonius syrthio o hono ar yr 16 o fis Rhagfyr; h. y. yr 17 o Dachwedd, hyd ddydd ei gyhoeddiad neu osodiad yn ymerawdwr: yr hyn yn wir y mae Tacitus a Suetonius yn ei bennodi ym mis Gorphenaf. Felly y tybiaf nad yw'r dysgawdwr na'r archesgob yn ystyried dim ychwaneg am ddydd-genedigaeth Vespasian yma na'i ddyfodiad i'r llywodraeth. Er yn yr achos cyntaf ymherthynas i Domitian, na ddichon y deongliad yma gael unrhyw le; oblegid nad oedd efe yn awr wedi dyfod i mewn i un llywodraeth, nac amryw flynyddau ar ol hynny.

i'r Iuddewon oedd yn aros yn Antioch fyned tan gyhuddiadau, ac mewn perygl o gael eu difetha, trwy'r terfysgoedd a godwyd yn eu herbyn gan yr Antiociaid: a hynny yn gystal o herwydd yr enllib a daenwyd o amgylch ymherthynas iddynt, ac oblegid rhyw wag-ymddygiad a fuasent yn euog o hono heb fod yn hir amser o'r blaen; yr hyn yr wyf yn rhwym i'w adrodd, er mai gyd â byrdra: fel y gallwyf yn haws gyssylltu fy hanes am weithredoedd mewn amser i ddyfod, a'r rhai a gerddasant o'r blaen.

Canys fel y mae'r genedl Iuddewig wedi eu gwasgaru ar led tros yr holl ddaear gyfanneddol, ym mhlith ei phreswylwyr; felly y mae wedi ei chyd-gymmysgu yn fawr â Syria, trwy ei bod yn gymmydogawl iddynt; ac yr oedd y lliaws mwyaf o honynt yn Antioch, oblegid maintioli'r ddinas: ym mha ryw le y darfu i'r brenhinoedd, ar ol Antiochus, ganiattau preswylfod iddynt, gyd â'r tawelwch mwyaf. Canys er i Antiochus, yr hwn a elwid Epiphanes, ddifrodi Jerusalem, ac yspeilio'r deml: etto darfu i'r rhai a'i dilynodd ef yn y deyrnas adferyd yr holl roddion a wnaethid o bres i'r Iuddewon yn Antioch, ac a'u cyssegrasant yn eu synagog; gan ganiattau iddynt fwynhau rhagorfreintiau cydraddol â'r Groegiaid fel dinasyddion. Ac megis y darfu i'r brenhinoedd canlynol ymddwyn tu ag attynt yn yr un modd, hwy a amlhasant yn lliaws mawr, ac a addurnasant eu* teml yn ogoneddus ag addurniadau gwychion, a godidowgrwydd mawr, â'r defnyddiau a roddasid iddynt. Hwy hefyd a wnaethant broselytiaid o lawer o'r Groegiaid yn olynol; a thrwy hynny, mewn ystyr, a'u dygasant yn rhan o'u cyrph eu hunain.

Ond ynghylch yr amser hwn pan ddechreuodd y rhyfel presennol, a dyfod o Vespasian yn ddiweddar i Syria, a phawb wedi cynnwys ynddynt gasineb mawr at yr Iuddewon; yna y bu i ryw un a elwid Antiochus, yr hwn oedd un o'r genedl Iuddewig, ac a berchid yn fawr ar gyfrif ei dad, yr hwn oedd † lywodraethwr yr Iuddewon yn Antioch, i'r olygfa neu chwareufa, aramser ag yr oedd llawer o bobl Antioch wedi ymgynnull ynghyd; ac a ddaeth yn achwynwr yn erbyn ei dad, gan ei gyhuddo ef ac eraill, o fwriadu llosgi yr holl ddinas mewn un noswaith: efe hefyd a draddododd iddynt rai Iuddewon ag oedd o wledydd dieithr, megis yn gyd-gyfrannogion o fwriadau eu gilydd. Pan glywodd y bobl hyn, ni allent attal eu digter; ond a orchymynasant fod i'r rhai a draddodwyd i fynu iddynt gael eu difa â thân; y rhai yn ganlynol a gyd-losgwyd yn uniongyrch ar yr olygfa. Hwy hefyd a ruthrasant yn fyrbwyll ar y lliaws o Iuddewon, gan dybied mai trwy eu cospi hwynt yr achubent eu dinas eu hunain. Am Antiochus, fe chwanegodd at y cynddaredd yr oeddynt ynddo: a chymmerodd yn ei feddwl i ddwyn tystiolaeth iddynt o'i droedigaeth ei hun, a'i gasineb o'r defodau Iuddewig, trwy aberthu yn ol arferiad y Groegiaid. Fe berswadiodd eraill hefyd o honynt hwy i gymmell yr Iuddewon yno i wneuthur yr un modd; am y gwybyddent wrth hynny pa rai o honynt a fradwriaethasai yn eu herbyn, gan na allai y rhai hyny fod yn euog o hono. Ac wedi i bobl Antioch wneud profiad o hynny, rhyw ychydig a gydsyniodd; ond y rhai ni wnaent hynny a laddwyd. Am Antiochus ei hun, fe gafodd filwyr gan y llywydd Rhufeinig, ac a ddaeth yn benaeth llym ar ei ddinasyddion ei hun, heb ganiattâu iddynt orphwys ar y seithfed dydd; ond a'u gyrrai i wneuthur pa beth bynnag a arferent ei wneud ar ddiwrnodiau eraill. Ac i'r fath radd o ofid y darostyngodd efe hwynt yn yr achos hwn, fel y diddymmwyd y gweddill o'r seithfed dydd, nid yn Antioch yn unig, ond y cyffelyb i'r hyn a ddechreuwyd yno a wnaethpwyd hefyd mewn dinasoedd eraill tros ychydig amser.

Yn awr wedi digwyddiad yr anhap hwn i'r Iuddewon yn Antioch, ail drallod neu flinder a'u goddiweddodd hwynt. Canys ar ddamwain hon, trwy ba un y llosgwyd i lawr y marchnadle pedwar-onglog, yn gystal â'r coflyfrdai, a'r lle y cadwid y coffadwriaethau cyffredin, ynghyd â'r palasau brenhinol: ac nid heb anhawsdra y rhagflaenwyd y tân, yr hwn oedd debyg, oblegid y tanbeidrwydd trwy ba

* Eu teml. Gwel y nod ar VI. 10.

† Yr Iuddewon o Antioch ac Alexandria, dwy brif-ddinas y dwyrain, a ganiattasid iddynt gan y Macedoniaid, ac ar ol hynny gan y Rhufeiniaid, lywodraethwyr, o'u hordeiniaid eu hunain; y rhai oeddynt ryddion oddiwrth awdurdod y llywodraethwyr gwladol. Efe a elwid weithiau yn llywodraethwr, a phryd arall yn ethnarc; ac yn Alexandria, alabarc, fel y sylwia D. Hudson ar y lle hwn, allan o gymmysg-waith Mr. Fuller. Caniattawyd iddynt gyffelyb lywodraethwr neu lywodraethwyr yn Babilon, o'tan eu caethiwed yno, fel yr arwyddir wrth hanes Susanna.

un yr aeth rhagddo, o ymdaenu tros yr holl ddinas; Antiochus a gyhuddodd yr Iuddewon fel yr achos o'r holl ddrygau a wnaethid. Yn awr hyn a barodd i bobl Antioch, y rhai a hollol berswadiwyd yn eu meddylian, o achos y terfysg yr oeddynt ynddo, fod yr enllib hwn yn wirionedd; ac a fuasent tan yr un perswadiad, er na ddygasent ddrwg-ewyllys i'r Iuddewon o'r blaen, i gredu cyhuddiad y dyn hwn: yn enwedig pan ystyriasant yr hyn a wnaethid eisoes, a hyn i'r fath radd ag y syrthiasant gyd â thrais ar y rhai a gyhuddwyd, fel rhai yn llawn cynddaredd; megis pe buasent yn gweled yr Iuddewon mewn ystyr yn gosod eu dinas ar dân. Ac nid heb anhawsdra y bu i un Creus Collegus, dirprwywr, allu eu perswadio i osod yr achos o flaen Cæsar. Canys am * Cesennius Petus, rhaglaw Syria, Vespasian eisoes a'i danfonasai ef ymaith. Ac felly y digwyddodd na ddychwelasai etto yn ol yno. Ond pan wnaeth Collegas ymofyniad manwl ynghylch y peth, fe gafodd allan y gwirionedd: ac nad oedd un o'r Iuddewon a gyhuddasid gan Antiochus â dim llaw ynddo: ond i'r cwbl gael ei wneuthur gan ryw ddihirwyr oedd tan fawr ddyled; y rhai a feddyliasant, os gallent unwaith osod ar dân y farchnadfa, a llosgi y cofadwriaethau cyffredin, na byddai ddim gofynion ymhellach arnynt. Felly'r Iuddewon oeddynt tan derfysg mawr a dychryn, yn disgwyl pa beth a fyddai canlyniadau y cyhuddiad hwn i'w herbyn.

## PENNOD IV.

*Am y derbyniad a gafodd Vespasian yn Rhufain; gwrthryfel a darostyngiad yr Ellmyn; a rhuthrad Sarmatians i Mysia.*

YN awr Titus Cæsar, ar y newyddion a ddygwyd iddo ymherthynas i'w dad, fod ei ddyfodiad i'r ymerodraeth yn beth a ddymunwyd yn fawr yn ninasoedd yr Ital; a darfod i Rufain yn enwedig ei dderbyn gyd â sirioldeb a rhwysg mawr, a ymroddodd ei hun i lawenydd a phleserau, i radd fawr; megis wedi ei ryddhau o'i ofal a'i lafur. Canys yr holl ddynion oedd yn Itali a ddangosasant barch iddo yn eu meddyliau cyn ei ddyfod yno, fel pe buasai eisoes wedi dyfod; megis yn cyfrif y disgwyliad oedd ganddynt am dano fel ei bresennoldeb eisoes yn eu mysg, ar gyfrif y dymuniad mawr oedd ganddynt i'w weled; ac o blegid fod yr ewyllys da a ddygent tu ag atto yn anherfynedig. Canys yr oedd yn beth dymunol gan y senedd, y rhai oeddynt yn cofio yn dda y blinderau a fuont tanynt yn niweddar gyfnewidiadau eu llywodraethwyr, i wneud derbyniad o un ag oedd wedi ei addurno â sobreiddrwydd henaint, ac yn gyfarwydd yn matterion rhyfel; dyrchafiad pa un a dueddai, fel y gwyddent, er achubiaeth y rhai a lywodraethid. Ymhellach, y bobl a aflonyddid mor fawr gan eu blinderau gwladol, fel yr oeddynt fyth yn fwy awyddus am ei ddyfodiad yn uniongyrch attynt: gan feddwl y sicr achubid hwynt oddi wrth eu trallodion, a chredu y caent eu hadferyd i gyflwr o dawelwch a llwyddiant. Ac am y filwriaeth yr oedd ganddynt y parch mwyaf iddo; canys hwynt hwy oedd fwyaf adnabyddus o'i orchestion milwraidd. A chan eu bod hwy yn brofiadol o ddiffyg cyfarwyddyd a chefnogrwydd yn eu blaenoriaid, yr oeddynt yn mawr ewyllysio cael eu rhyddhau oddiwrth y gwaradwydd hwnnw a fuasent tano o'u plegid hwynt, ac yn hiraethu yn fawr am y fath dywysog a fyddai o ddiogelwch a harddwch iddynt. Ac fel yr oedd yr ewyllys da hwn yn gyffredin, y rhai a feddiannodd radd o dderchafiad nid oedd amynedd ddigon ganddynt i aros ei ddyfodiad i Rufain, ond a wnaethant frys i'w gyfarfod ryw bellder mawr oddi yno. Ië yn wir, ni fedrai neb o'r lleill oddef gwneuthur ychwaneg o oediad heb ei weled ef; ond a ymdywalltent oll allan o'r ddinas yn dorfeydd; ac a oeddynt wedi eu cyffredin feddiannu â'r tŷb, ei bod yn esmwythach ac yn well iddynt fyned allan nag aros yno; mai hwn oedd yr amser cyntaf i'r ddinas yn llawen weled ei hun wedi ei gwaghau o'i thrigolion. Canys y rhai a arosasant i mewn oeddynt lai o nifer na'r rhai a aethai allan. Ond cyn gynted ag y daeth y newyddion ei fod yn y cyffiniau, a'r rhai a'i cyfarfuasai gyntaf yn adrodd gyd â pha fath dymmer garedig y derbyniodd bob un a ddaethai i'w gyfarch ef; yna y bu i'r holl liaws a arosasant yn y ddinas, gyd â'u gwragedd a'u plant, fyned allan i'r brif-ffordd i ddisgwyl am dano ef. A'r rhai a ddaethai heibio iddynt a wnaethant bob arwydd o lawenychiad

* Y mae arian etto wedi eu cadw o eiddo'r Cesennius Petus hwn, pan ydoedd yn is-raglaw, fel i'n hyspysir yma gan Spanheim.

wrth ei weled ef, a'r hyfrydwch o'i bresennoldeb; gan ei alw yn gymmwynaswr ac yn waredwr iddynt; a'r unig berson ag ydoedd gymmwys i fod yn llywodraethwr dinas Rhufain. Ac yn awr yr oedd y ddinas megis teml, yn llawn coron-blethau llysieuog ac arogl peraidd. Ac nid oedd hawdd iddo gan liaws y bobl i ddyfod i'r llys brenhinol; ym mha le o'r diwedd y cyflawnodd ei aberthau o ddiolchgarwch i'w dduwiau teuluaidd am ei ddiogel ddychweliad. Y lliaws hefyd a aethant i gyd-wledda: pa ryw wleddau a diod-offrymau a gynnaliasant yn ol eu llwythau, eu teuluoedd, a'u cymydogaethau: gan weddio o hyd ar Dduw am ganiattau i Vespasian, a'u holl hiliogaeth barhau yn y llywodraeth Rufeinig dros hir amser, ac i'w harglwyddiaethau gael eu hamddiffyn rhag pob gwrthwyneb. A dyma'r modd y darfu i Rufain gyd â'r fath lawenydd dderbyn Vespasian; ac yna hi dyfodd yn uniongyrch i gyflwr o ddedwyddwch a llwyddiant mawr.

Ond cyn yr amser hwn, a tha'r oedd Vespasian yngylch Alecsandria, a Titus yn aros gyd â'r cynllwyn yn Jerusalem, lliaws mawr o'r Ellmyn oeddynt mewn cythrwfl, ac yn tueddu at wrthryfela. Ac fel yr oedd y Gauliaid yn eu cymydogaeth yn uno â hwynt, felly y cyd fradwriaethasant, gan obeithio yn fawr am ryddhau eu hunain oddi wrth arglwyddiaeth y Rhufeiniaid. Yr hyn a gynhyrfodd yr Ellmyniaid i'r ymgynhygiad hwn o'u gwrthwynebu, ac i ddechrau rhyfel â hwynt ydoedd fel y canlyn: Yn y lle cyntaf naturiaeth y bobl, yr hon oedd yn ymddifad o iawn reswm; a pharodrwydd i daflu eu hunain i berygl mewn modd byrbwyll, gyd ag ychydig obaith. Yn y lle nesaf y casineb oedd ganddynt at y rhai a'u llywodraethent, tra'r oedd eu cenhedlaeth heb adnabod ymostyngiad i neb erioed ond y Rhufeiniaid; a hynny trwy orfod hefyd. Heblaw y pethau hyn a'u cynhyrfodd, y cyfleusdra presennol ag oedd yn ymgynnyg ei hun, oedd uwchlaw'r cwbl eraill yn eu cymmell iddo. Canys pan welsant y llywodraeth Rufeinig mewn annhrefn tufewnol, trwy barhaus newidiad ei llywodraethwyr; a deall fod pob rhan o'r ddaear gyfanneddol tanynt hwy mewn amgylchiad sigledig ac ansefydlog, tybiasant mai'n awr oedd y cyfleusdra goreu i gynnyg gwrthsefyll eu hawdurdod, pan ydoedd cyflwr y Rhufeiniaid mor derfysglyd. * Classicus hefyd, a Vitellius, dau o'u prif-flaenoriaid, a barasant iddynt ymchwyddo gan y fath obethion. Y rhai hyn a fuasent er's hir amser yn ewyllysio cyfnewid eu llywodraeth; ac a ddenwyd gan y cyfleusdra presenol, i wneud eu hamcanion yn gyhoeddus. Y lliaws ydoedd hefyd yn barod: a phan amlygodd y dynion hyn iddynt y peth yr oeddynt ar fedr ei wneuthur derbynywyd y newyddion yn llawen ganddynt. Felly wedi i ran fawr o'r Ellmyn, neu wŷr Germani, gyttuno i wrthryfela, ac eraill heb fod yn well eu tueddiad; Vespasian, megis wedi ei gyfarwyddo trwy ddwyfol ragluniaeth, a ddanfonodd lythyrau at Petilius Cerialis, yr hwn gynt a fuasai yn llywodraethu yr Almaen, trwy'r hyn y cyhoeddodd ei fod yn brif-lywydd; ac a orchymmynodd ar iddo gymmeryd arno lywodraeth Prydain. Felly efe a aeth i'r lle a orchymmynwyd iddo: a phan wnaed ef yn hyspys o wrthryfelgarwch yr Ellmyn, fe syrthiodd arnynt mor gynted ag y daethant ynghyd, gwedi trefnu ei fyddin i'r frwydr, ac a laddodd liaws mawr o honynt yn yr ymladdfa; gan wneuthur iddynt adael heibio eu gwallgof, a thyfu yn ddoethach. Ac er na syrthiasai y modd hwn arnynt yn y lle hwnnw, nid aethai hir amser heibio, pa fodd bynnag, nes eu dwyn i gospedigaeth. Canys cyn gynted ag y daeth y newydd am eu gwrthdroad i Rufain, a gwneuthur Cæsar Domitian yn hysbys o hono, ni wnaeth ddim oediad, er ei fod yn dra ieuangc, ond a gymmerodd arno bwys yr achos. Yr ydoedd yn meddu ar gefnogrwydd meddwl oddi wrth ei dad, ac a wnaeth fwy o gynnydd mewn ymarferiadau rhyfel nag a berthynai i'r oedran hwnnw. Yn ganlynol fe gychwynodd

* Y Classicus hwn, a Civilus, a Cerialis, ydynt enwau tra adnabyddus yn Tacitus. Y ddau gyntaf megis yn annog ymraniad yn erbyn y Rhufeiniaid; a'r diweddaf yn cael ei anfon i'w darostwng hwynt gan Vespasian; yn gymmwys fel y disgrifir hwynt yma gan Josephus. Yr hyn hefyd yw amgylchiad Fonteius Agrippa, a Rubrius Gallus yn y tu dalen nesaf. Ond am yr hanes ffafrol a roddir yn fuan am Domitian; yn enwedig am ei amcanion yn ei ymgyrch i Gaul a'r Almaen; nid yw ychydig yn wrthwyneb i'r hyn a draddodir gan Suetonius. Ac nid yw y rhesymmau yn annirnadwy, am yr achos o'r gwahaniaeth hwn. Domitian ydoedd un o amddiffynwyr Josephus: a phan gyhoeddodd y llyfrau hyn am y rhyfel Iuddewig, yr ydoedd Domitian yn dra ieuangc; a phrin y dechreuasai y drwg ymarferion a'i gwnaeth mor ddirmygus ar ol hynny. Pan yr ymddengys fod Suetonius yn rhy ieuangc, ac o sefyllfa ry wael neu isel mewn bywyd, i dderbyn un ffafr o hynodrwydd ganddo: fel ag yr oedd Domitian yn sicr o ymddygiad tra anfoesol a chreulon, a chasineb cyffredin iddo pan ysgrifenodd Suetonius yn ei gylch.

yn erbyn y barbariaid yn ddioed. Ar yr hyn y diffygiodd eu meddyliau pan soniwyd am ei agoshâd; a hwy a ymostyngasant iddo gan ofn, ac a feddyliasant ei fod yn ddedwyddwch iddynt gael eu dwyn tan ei hen iau drachefn heb oddef dim niweid. Wedi i Domitian gan hynny sefydlu holl faterion Gaul mewn trefn ddymunol, fel na allai yn hawdd ddychwelyd mwy i annhrefn, daeth yn ol i Rufain gyd â chlod ac anrhydedd; megis wedi cyflawni y fath orchestion ag oedd uwchlaw ei oedran ef, ond a oedd deilwng i dad mor fawr.

Ar yr un amser ar gwrthdro rhagddywededig ym mysg yr Ellmyn, digwyddodd i'r Scythiaid gyfodi yn erbyn y Rhufeinwyr. Canys y Scythiaid hyn, y rhai a elwir Sarmatiaid, a hwy yn bobl tra lliosog, a drosglwyddasant eu hunain tros afon y Danube i Mysia, heb eu canfod. Ar ol yr hyn, trwy drais ac ymosodiad annisgwyladwy, hwy a laddasant lawer o'r Rhufeiniaid oedd yn gwylio'r cyffiniau: ac megis y daeth y prif-lywydd Fonteius Agrippa i'w cyfarfod, ac yr ymladdodd yn gefnog â hwynt, yntau yn y frwydr a laddwyd ganddynt. Yna hwy a redasant tros yr holl ardal a fuasai ddarostyngedig iddo ef, gan rwygo a dryllio pob beth a gyfarfyddent yn eu ffordd. Ond wedi i Vespasian gael ei wneud yn hyspys o'r hyn a ddigwyddasai, ac fel yr oedd Mysia wedi ei difrodi; danfonodd ymaith Rubrius Gallus i gospi y Sarmatiaid hynny. Trwy ba foddion llawer o honynt a ddifethwyd yn y brwydrau a ymladdodd i'w herbyn; a'r rhan hynny o honynt a ddiangodd a ffoesant gyd â dychryn i'w gwlad eu hunain. Felly wedi i'r penciwdawd hwn roddi trefyn ar y rhyfel fe wnaeth arlwy gogyfer â diogelwch y wlad mewn amser a ddeuai. Canys efe a osododd ychwaneg o wersylloedd yn y lle; nes iddo ei wneud yn ammhosibl i'r Barbariad fyned tros yr afon drachefn. A'r modd hwn y cafodd y rhyfel ym Mysia ddiweddiad cyflym.

## PENNOD V.

*Am yr afon sabbothawl a ganfu Titus, fel yr oedd yn teithio trwy Syria; a'i wrthodiad o'r erfyniad a wnaed gan yr Antiochiaid yn erbyn yr Iuddewon.*

TITUS CÆSAR, wedi aros gryn amser yn Berytus, a symmudodd ymaith, ac a osododd i fynu olygfeydd, neu ddangosiadau cyhoedd yn holl ddinasoedd Syria, trwy ba rai yr oedd ei fynediad. Ac a wnaeth ddefnydd o'r gaethglud Iuddewig yn arwyddion cyhoeddus o ddinystr y genedl honno. Yna y canfu afon fel yr oedd yn myned ymlaen, o'r fath naturiaeth ag sydd weddus ei choffa yn yr hanes hon. Y mae ei rhediad yn y canol rhwng Arcea, a berthynai i deyrnas Agrippa, a Raphanea. Y mae rhyw beth tra neillduol ynddi: canys pan y mae'n rhedeg ei ffrwd sydd gref, gyd â chyflawnder o ddwfr, ar ol yr hyn y metha ei dechreuad tros chwech o ddyddiau ynghyd, ac y gedy ei rhedle mor sych ag a allai neb weled. Ar ol y dyddiau hynny hi a red ar y seithfed dydd megis o'r blaen, fel pe buasai heb gyfnewid oll: daliwyd sulw hefyd ei bod yn cadw yn wastadol at y rheol hon. O herwydd yr hyn y galwyd hi yr afon * sabbothawl; pa ryw enw a gymmerwyd oddi wrth y seithfed dydd cyssegredig ym mhlith yr Iuddewon.

Pan wnaed yn hyspys i bobl Antioch fod Titus yn neshau yno, yr oeddynt wedi llonychu gymmaint fel na's gallent aros o fewn eu muriau; ond a brysurasant i roddi cyfarfod iddo: ïe hwy a aethant mor bell a deg ar hugain o stadau ac ychwaneg, gyd â'r amcan hwnnw. Y rhai hyn oeddynt nid y dynion yn unig, ond lliaws o'r gwragedd hefyd, gyd â'u plant, a wnaethant yr un modd. A phan welsant ef yn dyfod i fynu attynt, hwy a safasant o bob tu i'r ffordd, gan estyn allan eu deheulaw i'w gyfarch ef; a thrwy wneuthur pob math o floddest a llawenydd wrth ddychwelyd yn ol gyd ag ef. Hwy hefyd yn gymmysg a'u gorfoledd a ddangosasant wrth ei dyfodiad, a attolygasant arno ar hyd y ffordd fwrw'r Iuddewon allan o'u dinas. Etto ni chydsyniodd Titus oll â'r deisyfiad hwn, ond a'u gwrandawodd yn unig gyd â distawrwydd. Pa fodd bynnag yr oedd yr Iuddewon tan lawer o ofnau, oblegid yr ansicrwydd o ddiogelwch yr oeddynt ynddo; heb ddeall ei feddyliau, na gwybod pa beth a wnai iddynt. Canys ni wnaeth Titus arhosfa yn Antioch, ond a bar-

* Gan fod yn yr oesoedd diweddaraf hyn, yr afon sabbothawl, ag ydoedd unwaith mor hynod; yr hon, yn ol cyfrif Josephus, a redai bob seithfed dydd; ond yn ol ei hanes gan Pliny, yr oedd ei rhediad gwastadol yn oed chwech o ddyddiau, a'i gorphwysiad bob seithfed dydd: (er nad ymddengys un ffordd wrth eu cyfrif hwynt, fod seithfed dydd yr afon yn digwydd yr un diwrnod â'r seithfed dydd Iuddewig, neu'r sabboth;) wedi hollol ddarfod neu ddiflannu, ni chwanegaf fwy o ymadrodd yn ei chylch:----yn unig gwelwch nod Dr. Hudson ar y lle hwn.

haodd i fyned ym mlaen yn uniongyrch i Zeugma, yr hon sy'n gorwedd ar Euphrates: I ba ryw le y daeth atto negeseuwyr oddiwrth Vologeses, brenin Parthia, gan ei anrhegu â choron aur, oblegid y fuddugoliaeth a gawsai ar yr Iuddewon: yr hon a wnaeth dderbyniad o honi, gan wledda cenhadwyr y brenin, ac yna fe ddychwelodd yn ol i Antioch. Ac wedi i senedd a phobl Antioch erfyn yn daer ar iddo fyned i'r orsedd yno, lle'r oedd eu holl liaws wedi ymgynnull, ac yn ei ddisgwyl, fe gydsyniodd â hwynt gyd â llawer o ddynoliaeth. Ond pan bwysasant arno gyd â thaerineb mawr, a pharhaus erfyniad, ar fwrw o hono'r Iuddewon allan o'u dinas, fe roddodd iddynt yr attebiad pwyllog a chyd-ymdeimladol hwn: "Pa fodd y gellir gwneuthur hyn gan fod y wlad honno o'r eiddynt, i ba un y byddai raid i'r Iuddewon fyned, wedi ei difetha, ac ni dderbynir hwynt i un lle arall heblaw yno." Ar hyn wedi i bobl Antioch fethu yn eu gofyniad cyntaf, gwnaethant ail-erfyniad. Canys dymunasant ar iddo orchymmyn i'r byrddau pres gael eu symmud ymaith, ar ba rai yr oedd rhagorfreintiau'r Iuddewon wedi eu hargraphu. Pa fodd bynnag ni chaniattaid hynny ychwaith gan Titus: ond fe ganiattaodd i'r Iuddewon o Antioch barhau mewn mwynhad o'r un rhagorfreintiau yn y ddinas honno ag o'r blaen; ac yna fe ymadawodd ymaith i'r Aipht. Ac fel y daeth i Jerusalem yn ei ymdaith, a chymharu y cyflwr athrist y gwelodd hi yn awr ynddo, ag ardderchowgrwydd blaenorol y ddinas, gan sylwi ar raddau mawr presennol ei hanghyfannedd-dra, yn gystal a'i henwogrwydd hynafiaethol, ni allai lai na galaru oblegid ei dinystr: mor bell a hynny oedd efe oddiwrth ymffrostio, fod y fath ddinas ehang a chlodfawr wedi ei chymmeryd trwy drais ganddo ef. Nagê, yn fynych fe felldiggai y rhai a fuasai yn awdwyr ei gwrthryfel, ac a ddygasai y fath gospedigaeth ar y ddinas. Yn gymmaint ag ymddangos yn amlwg nad oedd yn dymuno i'r fath flinder a maintioli eu cospedigaeth hwn, fod yn arwydd o'i wrolder milwraidd ef. Etto'r oedd mesur nid bychan o'r trysorau a fuasai yn y ddinas honno i'w cael ym mhlith yr adfeiliau, llawer o ba rai a gloddiwyd i fynu gan y Rhufeiniaid: ond y rhan fwyaf a gafwyd gan y rhai a gymmerwyd yn gaethion, ac felly a'u dygasant ymaith: fy meddwl yw, yr aur a'r arian, a'r gweddill o ddodrefn gwerthfawr oedd gan yr Iuddewon, a'r rhai a guddiasai eu perchennogion tan y ddaear, gogyfer ag amser cyfnewidiau rhyfel.

Felly Titus a gymmerodd daith fel y bwriadasai i'r Aipht; ac a aeth tros y diffeithwch yn dra chyflym, i Alexandria; ac a ymroddodd i fyned oddi yno ar for-daith i Rufain. Ac fel yr oedd gyd ag ef ddwy o lengau ei filwyr, danfonodd bob un drachefn i'r mannau y daethent gynt o honynt. Y bummed a drosglwyddodd i Mysia, a'r bymthegfed i Pannonia. Ymherthynas i flaenoriaid y caethion, Simon a Ioan, gyd â'r seithgant eraill o rai a bigodd allan o'r dyrfa, trwy fod yn heini a hardd o gorpholaeth; rhoddodd orchymmyn i fod iddynt hwy ar fyrder gael eu cymmeryd i'r Ital; gan benderfynu gwneud arddangosiad o honynt ar ddydd ei lawenychiad. Felly wedi iddo gael mordaith yn ol ei ddymuniad, dinas Rufain a ymddygodd ei hun yn ei dderbyniad, a thrwy fyned ym mhell i'w gyfarfod yr un modd ag y gwnaethai ymherthynas i'w dad. Ond yr hyn a wnaeth yr ymddangosiad godidoccaf yn nhŷb Titus ydoedd, ei gyfarfyddiad a'i dderbyniad gan ei dad. Ond etto lliaws y dinasyddion a gawsant y llawenydd mwyaf ar yr olwg o'r * tri ynghyd, megis y gwelsent hwy y pryd hyn. Ac nid aethai llawer o ddyddiau heibio, nes iddynt benderfynu appwyntio un diwrnod o lawenychiad trostynt † bob un, ar gyfrif y gorchestion a wnaethent; er y mynnai'r Senedd gyhoeddi dyddiau gwahaniaethol i hynny. Felly wedi i gyhoeddiad blaenorol gael ei roddi am y diwrnod appwyntiedig ar gyfrif eu buddugoliaethau, ni arhosodd un o'r lliaws dirifedi o fewn i'r ddinas; ond pawb a aethant allan mor bell ag i gael yn unig le i sefyll: gan adael yn unig y fath dramwyfa ag oedd angenrheidiol yn rhydd i'r rhai oeddynt i weled eu mynediad ar hyd-ddi.

Yn awr yr holl filwriaeth a gychwynasant allan wrth y lluoedd, ac yn amryw resau, tan eu blaenoriaid perthynasol yn y nos, ac a safasant o amgylch y pyrth, nid y llysoedd uchaf, ond y rhai agos i deml Isis. Canys yno y gorphwysasai yr ymerawdwyr y nos o'r blaen. A chyn gynted ag yr aeth yn ddydd, Vespas-

* Vespasian a'i ddau fab, Titus a Domitian. † Vespasian a Titus.

ian a Titus a ddaeth allan, wedi eu coroni â llawryf, ac yn y gwisgoedd hynafiaethol hynny o borphor ag oedd berthynasol i'w teulu; ac yna hwy a aethant mor bell a rhodfeydd Octavian. Canys yno yr oedd y Senedd, y prif lywodraethwyr, a'r rhai a gofrestrwyd megis o'r radd farchogawl, yn disgwyl am danynt. Yn awr yr oedd gorseddfa wedi ei hadeiladu o flaen y cynteddau, a chadeiriau o ifori a osodasid arni. Ac wedi iddynt ddyfod ac eistedd i lawr arnynt, y milwyr a wnaethant floeddiadau o lawenydd, a phawb a ddygasant iddynt dystiolaeth o'u gwrolder; tra'r oeddynt hwy eu hunain yn anarfog, ac yn unig yn eu gwisgoedd o sidan, wedi eu coroni â lawryf. Vespasian a foddlonodd i'w bloeddiadau: ond tra'r oeddynt yn tueddu i fyned ym mlaen â'r fath floddest, rhoddodd iddynt arwydd o ddistawrwydd: a phan dawsant oll, efe a safodd i fynu; a chan orchuddio y rhan fwyaf o'i ben â'i fantell, gosódodd i fynu yr arferedig weddiau defosiynol: a'r un gyffelyb weddiau a wnaethpwyd gan Titus hefyd. Wedi pa ryw weddiau Vespasian a wnaeth araith fer wrth y bobl; ac yna danfonodd ymaith y milwyr at giniaw a barottoisid iddynt gan yr ymerawdwyr. Yna'r aeth efe ymaith i borth y rhwysg, o herwydd fod y golygfeydd rhwysgfawr bob amser yn myned trwyddo. Yno y bu iddynt gyfrannogi o beth lluniaeth i'w diwallu: ac wedi dodi am danynt eu gwisgoedd buddugoliaethol, ac offrymmu aberthau i'r duwiau a safent yn y porth, gosodasant yr olygfa fuddugoliaethol i fyned rhagddi, ac a aethant ym mlaen trwy'r chwareu-leoedd, fel y gellid eu gweled yn haws gan y lliaws.

Yn awr, y mae'n ammhossibl descrifio y golygfeydd oedd yno, fel y maent yn haeddu, a'r gwychder o honynt: y fath yn wir a'r na fedrai dyn yn hawdd feddwl am danynt, megis wedi eu gwneuthur trwy gywreinrwydd crefftwyr, amrywiaeth cyfoeth, ac anamldra naturiaethol: canys yr holl bethau hynod a allai'r mwyaf o ddynion eu cyrhaeddyd, a bentyrrid yma y naill ar y llall; a'r rhai hynny yn dra rhyfedd a chostfawr yn eu natur; ac oedd megis wedi eu dwyn ynghyd i'r un lle y dydd hwnnw, a arwyddodd ehangder mawr arglwyddiaethau y Rhufeiniaid. Canys yma'r oedd i'w gweled fesurau aruthrol o arian, aur, ac ifori, wedi eu llunio i bob math o bethau: ac yn ymddangos nid megis yn cael eu dwyn o amgylch mewn dangosfa yn unig, ond, fel y gall dyn ddywedyd, yn rhedeg ym mlaen fel afon. Rhai pethau ag ydoedd â'u cyfansoddiad o borphor gwerthfawrocaf, a ddygid ym mlaen; a phethau cywrain eraill yn tebygu i wniadwaith celfyddus y Babiloniaid. Yr ydoedd hefyd feini gwerthfawr o ddisgleirdeb mawr; rhai wedi eu gosod mewn coronau aur, ac mewn addurniadau eraill, yn ol dyfais y gweithwyr. Ac o'r rhai hyn dygasid y fath nifer anghredadwy ynghyd, fel na allem amgen na dysgu cydnabod trwy hynny mor wag yr oeddym yn dychymmygu am anamldra y cyfryw bethau. Lluniau y duwiau hefyd a ddygwyd o amgylch, y rhai oeddynt i'w rhyfeddu yn gystal o herwydd eu maint, a chywreinrwydd eu gwneuthuriad trwy ddyfais y crefftwyr. Ac nid oedd pob un o'r delwau hyn heb fod o'r defnyddiau mwyaf costfawr. A llawer rhywogaeth o greaduriaid byw a ddygwyd ym mlaen, a phob un yn ei naturiol addurniadau ei hun. Y gwŷr hefyd ag a ddygasant y gwrthddrychau hyn tan olygiad oeddynt liaws mawr; ac wedi eu haddurno â gwisgiadau porphor yn gyd-weuedig ag aur. Y rhai a ddewisid hefyd i ddwyn o amgylch y golygfeydd hyn, a wisgid â'r fath addurniadau ag oedd ragorol ryfedd. Heblaw y pethau hyn, nid oedd hyd yn oed y nifer fawr o'r caethion heb addurniadau; tra'r oedd amrywiaeth eu gwisgoedd, a gwychder eu gwneuthuriad yn cuddio oddiwrth y golwg wrthuni eu personau. Ond yr hyn a ymddangosai yn fwyaf rhyfedd oedd drefn gwneuthuriad yr eilynod neu ddychymmyg-bethau a ddygid o amgylch. Canys yn wir y sawl a'u cyfarfyddai ni allai beidio ag ammeu a ydoedd y rhai a'u dygent yn alluog i gynnal eu pwysau; canys llawer o honynt a wnaed felly, fel yr oeddynt yn sefyll ar dri neu bedwar o esgynfeydd, y naill uwchlaw y llall. Mawrwychedd eu cyfansoddiad oedd hefyd yn peri boddlonrwydd a rhyfeddod: canys tros lawer o honynt yr ydoedd llenni o aur; gyd â chadwynau o aur, ac ifori yn dynn o'u hamgylch. A llawer o gysgodau y rhyfel oedd i'w gweled, a'r rhai hynny mewn amryw ddull, yn rhoi arwydd bywiol o hono. Canys yno y gwelid gwledydd dedwyddol wedi eu difrodi; a byddinoedd cyfain o elynion wedi

eu lladd; tra'r oedd rhai o honynt yn ffoi ymaith, a'r lleill yn cael eu dwyn i gaethiwed: gyd â chaerau o fawr uchder a maintioli yn cael eu dryllio, a'u dadymchwel gan y peiriannau; gyd â'r amddiffynfeydd cadarnaf wedi eu cymmeryd, a muriau dinasoedd mwyaf poblogaidd ar frig mynyddau wedi eu goresgyn; a lluoedd o filwyr yn ymdywallt i mewn trostynt; a phob lle megis yn llawn lladdfeydd; gyd ag erfyniau gelynion pan na allent yn hwy godi llaw yn erbyn y rhai a'u goresgynnent. Tân hefyd wedi ei osod wrth demlau a gynnyrchiolid yno; a thai yn cael eu bwrw i lawr, ac yn syrthio ar bennau eu preswylwyr: afonydd hefyd wedi dyfod allan o faith ddiffeithwch, a redai i wared, nid i dir wedi ei lafurio, nac megis i ddisychedu dynion, neu anifeiliaid, ond trwy wlad ar dân ym mhob ochr. Canys yr Iuddewon a adroddent eu bod tan y fath amgylchiadau yn amser y rhyfel. Yn awr, dull gwneuthuriad y dangosiadau hyn ydoedd mor fawrwych a bywiog, ynghyfansoddiad y pethau, fel yr oeddynt yn arwyddo yr hyn a gyflawnwyd mor wirioneddol a phe buasid yno yn bresennol. Ar ben pob un o'r cynddelwau hyn y gosodid llun llywydd y ddinas a gymmerwyd; a'r dull ym mha un y cymmerasid ef. Ymhellach fe ganlynodd ar ol y pethau hyn nifer mawr o longau. Am yr yspeiliau eraill, fe'u dygwyd ym mlaen mewn helaethrwydd mawr.

Ond y rhai a gymmerwyd yn nheml Ierusalem, oedd fwyaf rhagorol i'w golygu o honynt oll. Hynny yw y bwrdd aur, o bwysau amryw dalentau. Y canhwyllbren hefyd, yr hwn a wnaethid o aur: er bod ei gyfansoddiad yn awr wedi ei newid oddi wrth y defnydd a wnaem ni o hono. Canys ei saeth neu biccell ganol a sicrhaid ar waelod; a'r ceungciau oddi wrthi a gyrhaeddent allan i bellder mawr, a thebygolrwydd tryfer iddynt yn eu gosodiad; ac yr oedd iddynt bob un fortais wneuthuredig o bres i gynnwys llusern ar eu brigau. Y llusernau hyn oeddynt saith mewn rhyfedi; ac yn arwyddo dyrchafiaeth y nifer saith ym mysg yr Iuddewon. A'r diweddaf o'r holl yspeiliau a ddygwyd o amgylch oedd gyfraith yr Iuddewon. Ar ol yr yspeilion hyn yr aeth heibio lawer o ddynion yn dwyn y delwau o fuddugoliaeth; lluniad pa rai ydoedd o ifori, neu aur. Ar ol pa rai y daeth Vespasian yn gyntaf heibio, a Thitus a'i dilynodd ef. Domitian hefyd oedd yn marchogaeth gyd â hwynt, gan wneud ymddangosiad mawrwych, a marchogaeth ar farch oedd deilwng o ryfeddod.

Yn awr y rhan ddiweddaf o'r olygfa ardderchog hon ydoedd wrth deml Jupiter Capitolinus; yn ol eu dyfodfa i ba le hwy a safasant yn llonydd. Canys arfer hynafiaethol y Rhufeiniaid ydoedd i aros yn eu hunman, nes i ryw un ddwyn y newyddion fod penciwdawd y gelyn wedi ei ladd. Y penciwdawd hwn ydoedd Simon, mab Gioras, yr hwn a arweiniasid o amgylch ar ddydd y llawenychiad ym mysg y caethion. Dodasid rhaff am ei ben ef, gerfydd pa un y tynnid ef ym mlaen i le a elwid y fforum; ac a arteithiwyd ar hyd y ffordd gan y rhai a'i harweiniasant. A chyfraith y Rhufeiniaid a ofynai, fod i ddrwg weithredwyr a fwrid i farwolaeth gael eu lladd yno. Yn ganlynol pan adroddwyd fod diwedd wedi ei wneuthur arno ef, ac i'r holl bobl osod i fynu floedd o lawenychiad; hwy a ddechreuasant offrymmu'r aberthau a gyssegrasent yn y gweddiau arferedig ar y fath achosion: ac wedi gorphen y cwbl, hwy a aethant ymaith i'r palas. Ac ymherthynas i rai o'r edrychwyr, hwy a roesawyd gan yr ymerawdwyr yn eu gwledd eu hunain: ac am y lleill igyd, yr ydoedd parottoad ardderchog wedi ei wneud iddynt i wledda gartref. Canys hwn ydoedd ddydd o wledda i holl ddinas Rhufain; megis yn cael ei gynnal ar gyfrif y fuddugoliaeth a gawsai eu byddinoedd ar eu gelynion; am y diwedd ag ydoedd yn awr wedi ei roddi ar eu blinderau cartrefol; ac am ddechreuad eu gobaith o fwynhau llwyddiant a dedwyddwch yn yr amser i ddyfod.

Wedi i'r llawenychiad hwn fyned trosodd, ac achosion y Rhufeiniaid gael eu sefydlu ar y seiliau mwyaf sicr, Vespasian a benderfynodd adeiladu teml i heddwch: yr hon a orphenwyd mewn cyn lleied o amser, ac yn y fath ddull ardderchog ag ydoedd tu hwnt i bob disgwyliad dynol. Canys, a chanddo yn awr, trwy raglun-iaeth, fesur helaeth o gyfoeth, heblaw yr hyn a ynnillodd gynt yn ei orchestion eraill, yr oedd ganddo y deml hon wedi ei haddurno â lluniau a delwau. Canys yn y deml hon yr ydoedd wedi eu casglu ynghyd y cyfryw bethau anaml i'w cael, ag a barai i ddynion gynt dramwyo

tros yr holl ddaear gyfanneddol i gael golwg arnynt, pan chwennychent eu gweled y naill ar ol y llall. Efe hefyd a osododd i fynu yno y ddodrefn aur, a'r offerynau a gymmerwyd allan o'r deml Iuddewig, megis banerau ei glodforedd. Ond etto rhoddodd orchymmyn i gopiau eu cyfraith, a llenni phorphor y lle sanctaidd, gael eu cadw yn y palas brenhinol, i'w diogelu yno.

## PENNOD VI.

*Lucilius Bassus wedi ei anfon i Judea, yn darostwng tŵr Macherus, a lleoedd eraill.*

YN awr, * Lucilius Bassus a ddanfonwyd megis cennad i Judea: ac yno fe dderbyniodd y fyddin oddiwrth Cerealis Vitellianus; a chymmerodd y tŵr hwnnw ag ydoedd yn Herodium, ynghyd â'r gwersyll oedd ynddo. Ar ol hyn fe gafodd ynghyd yr holl filwyr ydoedd yno, (y rhai oeddynt gorph mawr o ddynion, ond wedi eu dosparthu yn amryw bartïau;) gyd â'r ddegfed lleng, ac a benderfynodd wneuthur rhyfel ar Macherus. Canys yr ydoedd o fawr angenrheidrwydd i'r tŵr neu'r castell hwn gael ei ddadymchwelyd; rhag ei fod yn foddion i annog llawer i wrthryfela oblegid ei gadernid. Canys natur y lle ydoedd alluog i beri'r gobaith siccraf o ddiogelwch i'r rhai a'i meddiannent; yn gystal a hir oediad ac ofn i'r rhai a warchäent arno. Canys yr hyn a furiwyd i mewn ydoedd ynddo ei hun fynydd o graig, a chodiad tra uchel iddo: pa ryw amgylchiad yn unig a'i gwnaeth yn dra anhawdd i'w ddarostwng. Yr ydoedd y lle hefyd wedi ei drefnu yn y fath fodd gan natur, na's gellid yn hawdd esgyn iddo. Canys y mae, fel pe byddai wedi ei genlannu o amgylch gan gymmoedd neu ddyffrynoedd isel ar bob ochr, a'r rhai hynny o'r fath ddyfnder, fel na all y golwg ond yn brin gyrraedd hyd y gwaelodion; a'r fath ydynt na's gellir yn hawdd fyned trostynt; a'r cyfryw ag sydd yn anmhossibl eu llenwi â daear. Canys y dyffryn a'i tyrr o du'r gorllewin sydd yn cyrraedd hyd drugain o 'stadau, ac heb ddiweddu nes dyfod at y llyn Asphaltites. Ar yr un ochr hefyd i Macherus yr oedd pen uchaf ei mynydd yn dyrchafu uwchlaw'r lleill. Ond yna am y dyffrynoedd a orweddai o du'r gogledd a'r dehau, er nad ydynt mor feithed a'r un a ddescrifiwyd eisoes; etto y maent o gyffelyb anhawsdra i fyned trostynt: ac am y dyffryn a orwedd yn y dwyrain, nid yw ei ddyfndwr ddim llai na chant o gufyddau. Y mae'n cyrhaedd mor bell a'r mynydd a orwedd gyferbyn â Macherus, â pha un y mae yn ymgyssylltu.

Yn awr pan ddarfuasai i Alexander Janneus, brenin yr Iuddewon, sylwi ar natur y lle hwn; efe gyntaf a adeiladodd dŵr yno, pa un wedi hynny a ddadymchwelwyd gan † Gabinius, pan wnaeth ryfel yn erbyn Aristobulus. Ond wedi i Herod ddyfod yn frenin, fe farnodd y lle yn deilwng o'r sulw craffaf, ac i adeiladu arno yn y modd mwyaf cadarn: a hynny yn enwedigol am ei fod yn gorwedd mor agos i Arabia: canys y mae ei sefyllfa mewn lle cyfleus ar y cyfrif hwnnw, a'i olygiad sydd tu ag yno. Efe gan hynny a amgylchodd ddarn mawr o dir â chaerau ac â thŷrau, ac a adeiladodd yno ddinas. O ba ddinas yr ydoedd ffordd yn arwain i'r tŵr ei hun, ar frig y mynydd. Ië, ychwaneg na hyn, fe wnaeth fûr o amgylch y lle hwnnw ar ben y mynydd; ac a wnaeth dŷrau ar bob congl yn gant a thrugain cufydd o uchder. Ynghanol pa ryw le efe a adeiladodd balas o ddull godidog; gyd ag adeiladau ëang a harddwych eraill. Gwnaeth hefyd amryw ddyfr-gistiau neu gronfeydd i dderbyn dwfr, fel y byddai ddigonedd o hono yn barod ar bob achos; a'r rhai hynny yn y lleoedd mwyaf cyfleus i'r trigolion. Felly y darfu iddo ef, megis pe byddai ymryson â natur y lle, fel y rhagorai ar ei naturiol gadernid a'i ddiogelwch trwy'r amddiffynfeydd a wnaethpwyd gan ddwylaw dynion. Ymhellach, fe ddododd fesur mawr o biccellau, ac offerynau rhyfel eraill ynddi, ac a geisiodd yno bob peth a ddychymmygodd a allai mewn un ffordd chwanegu at ddiogelwch y trigolion, tan y gwarchaedigaeth hwyaf ag oedd bosibl.

Yn awr o fewn i'r palas yn y lle hwn y tyfodd math o blanhigyn a elwid y Ryw,‡ag sydd yn haeddiannol o'n sylw ar gyfrif ei faintioli. Canys nid oedd mewn un ffordd yn waelach na y ffigysbren, o ran ei drwch neu uchder. A'r

* Y Lucilius Bassus hwn a grybwyllir gan Tacitus fwy nag unwaith.
† Gwel Llyfr I. pen. 8.

‡ Spanheim a sylwia yma, fod yn Groeg Fwyaf, a Sicilly, amlder mawr o Ryw o'r fath barhaol; a chyffelyb i'r un hwn yn Macherus.

hanes yw, ei fod wedi parhau er amser Herod; ac a barhausai ysgatfydd yn hwy o lawer pe na's torrasid i lawr gan yr Iuddewon, y rhai a gymmerasant feddiant o'r lle yn ol hynny. Ond etto yn y dyffryn hwnnw ag sydd yn cylchynu y ddinas ar du y gogledd, y mae lle a elwir yn bendant Baaras, ag sydd yn dwyn llysieyn * o'r un enw. Ei liw sydd debyg i fflam o dân; a thu a'r hwyrddydd y mae yn anfon allan lewyrchiad tanbaid, megis oddiwrth fellten. Ni thynnir mo'no yn rhydd yn hawdd gan y rhai a fynnent ei wneuthur, ond fe gilia o'u dwylaw. Ië, fe brofa yn farwolaeth sicr i'r rhai a gyffyrddant ag ef, oddieithr ei lwyr ddadwreiddio, a'i symmud ymaith â llaw. Y ffordd arferol o'i gymmeryd yw hyn,---hwy a gloddiant ffos o'i amgylch, nes y byddo y rhan guddiedig o'r gwreiddyn yn ymddangos yn dra bychan. Yna y rhwymant gi â llinyn wrtho: a phan ymdrecha y ci i ddilyn yr hwn a'i rhwymodd ef; yna'r gwreiddyn a dynnir ymaith yn hawdd; ond y ci a drig, neu a fydd farw yn ebrwydd; fel pe byddai yn lle'r dyn a ddygai'r planhigyn ymaith. Ac ar ol hyn ni raid i neb ruso ei gymmeryd yn ei ddwylaw. Etto wedi'r holl boen yma i'w feddiannu, nid yw o werth ond yn unig ar gyfrif un rhinwedd sydd ynddo: sef, os dygir at ryw un a fyddo yn glaf, y mae'n fuan yn gyrru ymaith y rhai a elwir demoniaid; y rhai nid ydynt amgen nag ysprydion dynion annuwiol a fuont feirw, ag sydd yn myned i mewn i ddynion byw, ac yn eu lladd hwynt, oddieithr iddynt gael rhyw gymmorth yn eu herbyn. Y mae yma hefyd ffynhonnau o ddwfr brwd yn llifeirio yn y lle hwn, y rhai sydd a'u dyfroedd o wahanol flas; canys rhai ydynt chwerw, a'r lleill yn felys. Yma hefyd y mae amryw dorriadau allan o ddyfroedd oerion: a hynny nid yn unig mewn is-leoedd, ond y ffynhonnau ydynt agos i'w gilydd. Eithr yr hyn sydd fyth yn fwy rhyfeddod, y mae yma ogof i'w gweled gerllaw, ceudwll pa un nid yw ddwfn; ond hi orchuddir â chraig yn pwyso ym mlaen, neu yn bargodi. Uwchlaw y graig hon y mae'n sefyll ddau fynydd neu fronnydd, megis pe byddai o ychydig bellder y naill oddiwrth y llall: un o ba rai sydd â ffynnon yn tarddu o honi o ddwfr tra oer; ac o'r llall un â dwfr brwd neu gynnes. Y dyfroedd hyn pan eu cyd-gymmysgir a wna ymolchfa dra hyfryd: y maent yn feddyginiaethol yn wir i amryw fath o afiechyd; ond yn enwedig y maent yn llesol i gryfhau'r gïau, neu'r gewynnau. Y lle hwn sydd ag ynddo hefyd fwyngloddiau o frwmstan ac alwm.

Yn awr wedi i Bassus gymmeryd llawn olwg ar y lle hwn, fe ymroddes i warchae arno, trwy lenwi i fynu y pant neu'r dyffryn o du'r dwyrain: felly fe syrthiodd i weithio; a chymmerodd boen fawr i gyfodi ei grug-fryniau mor gyflym ag oedd bossibl; a thrwy'r moddion hynny i wneud y cynllwyn yn esmwythach. Am yr Iuddewon a ddaliwyd yn y lle, hwy a ymneillduasant eu hunain oddiwrth y dieithriaid oedd gyd â hwynt: a hwy a wnaethant i'r dieithriaid, megis lliaws diddefnydd mewn modd arall, i aros ynghwrr isaf y ddinas, ac i fyned tan y peryglon mwyaf. Tra y darfu iddynt hwy eu hunain feddiannu y tŵr uchaf, ac ymsefydlu ynddo; a hynny ar gyfrif ei gadernid, a pharottoi i'w diogelu eu hunain. Hwy a dybiasent hefyd yr ennillent faddeuant, os yn y diwedd y rhoddent i fynu y tŵr neu'r castell. Pa fodd bynnag yr oeddynt yn ewyllysio yn y lle cyntaf i wneuthur profiad, pa un a fyddai i'r gobeithion oedd ganddynt o ochelyd gwarchaedigaeth ddyfod i ryw beth neu beidio: â pha ryw amcanion hwy a wnaethant ruthriadau beunyddiol, gan ymladd â'r rhai a gyfarfyddai â hwynt. Yn yr ymdrechiadau hyn fe laddwyd llawer o honynt; megis y lladdasant hwythau lawer o'r Rhufeiniaid: ond etto y cyflensderau a ymgynhygiodd eu hunain, a barodd yn bennaf i bob ochr achlysurol fuddugoliaeth. Hyn a ynnillwyd gan yr Iuddewon trwy syrthio ar y Rhufeiniaid pan fyddent oddiar eu gwyliadwriaeth: ond gan y Rhufeiniaid, ar ruthriadau y lleill yn erbyn eu bryncynnau, hwy a ragwelent eu dyfodiad, ac a fyddent ar eu gwyliadwriaeth pan dderbynient hwynt. Ond nid oedd terfyniad y gwarchae yn ymddibynnu

* Y cyfrif dieithr a roddir yma am le a gwreiddyn a elwid Baaras, a ymddengys ei fod wedi ei gymmeryd oddiwrth y swynwyr neu ddewiniaid; a'gwneuthur defnydd o'r llysieuyn yn nyddiau Josephus, yn y ffordd goel-grefyddol hono o fwrw demoniaid allan, a dybiwyd ganddo ef, ddyfod o hono oddiwrth y brenin Salomon: am yr hyn ni a wel'som eisoes fod ganddo dŷb mawr. Hynaf. VIII. 2. Gallwn hefyd ddysgu oddi yma, yr iawn dŷb oedd gan Josephus am y demoniaid, yn gyffelyb i'r hyn oedd gan yr Iuddewon a'r Cristionogion yn y Testament Newydd; a'r pedair ganrhif gyntaf. Gwel Hynaf. VI. 8.---XI. 2.

ar yr ymgecraeth hwn. Ond rhyw ddamwain ryfedd ymherthynas i'r hyn a gyflawnwyd yn y cynllwyn yma, a wnaeth i'r Iuddewon roddi i fynu y tŵr. Yr ydoedd rhyw ddyn ieuangc ym mhlith y rhai a warchaewyd arnynt o hyfdra mawr, a pharod o'i ddwylaw. Ei enw oedd Eleazar; yr hwn a weithredodd gyd â'r fath fedrusrwydd a chyflymdra yn y rhuthriadau, fel yr annogodd yr Iuddewon i fyned allan yn lliaws mawr, mewn trefn i rwystro cyfodiad y gwrthglawdd: ac a wnaeth ddrwg mawr i'r Rhufeiniaid pan y deuent i ymladdfa. Fe drefnodd bethau yn y fath fodd, fel y gwnelai y rhai a ruthrent allan eu hymosodiad gyd ag esmwythder, ac y dychwelent yn ol yn ddiberygl; a hyn gan ddwyn y rhai olaf o honynt ei hun i mewn drachefn. Yn awr fe ddigwyddodd ar ryw bryd, wedi i frwydr fyned trosodd, a phob ochr wedi ymwasgaru, a dychwelyd i'w mangre; efe mewn ffordd o ddirmyg ar y gelyn, a chan feddwl na ail-ddechreuai neb o honynt ymladd yr amser hwnnw, fe arosodd y tu allan i'r pyrth, ac a siaradodd â'r rhai a safent ar y mur; a'i feddwl wedi ei hollol ogwyddo at yr hyn a ddywedent hwy.

Yn awr rhyw un ag oedd yn perthyn i wersyll y Rhufeiniaid, enw pa un oedd Rufus, yn Aiphtwr o enedigaeth, a redodd ar warthaf y dyn ieuangc yn annisgwyliadwy ac a'i dug ymaith, gyd â'i arfogaeth; tra'r oedd y rhai a edrychent arno oddiar y mur yn y fath syndod, fel y rhagflaenodd hwynt i'w amddiffyn, ac a ddug Eleazar ymaith i wersyll y Rhufeiniaid. Felly cad-flaenor y Rhufeiniaid a orchymmynodd ei ddinoethi ef, a'i ddwyn o flaen y ddinas i'w weled ganddynt; ac yno ei fflangellu yn llym yn eu golwg hwynt. Ar y ddamwain dost hon a ddigwyddodd i'r dyn ieuangc, yr Iuddewon a derfysgwyd yn fawr; a'r ddinas ag un llais a alarasant o'i herwydd; a'r galar a brofodd yn fwy nag a ellid ei feddwl ar gyfrif trallodion person unigol. Pan ddeallodd Bassus hynny, fe ddechreuodd lunio yn ei feddwl ryw gyfrwysedd yn erbyn y gelyn; gan ewyllysio chwanegu eu gofid, mewn trefn i'w perswadio i roddi i fynu'r ddinas, er mwyn achub y dyn hwnnw. Yn ganlynol fe orchymmynodd i'w filwyr osod i fynu groes, fel pe buasai yn myned i hongian Eleazar arni yn ddioed. Yr olwg o hyn a barodd ofid mawr ym mysg y rhai oedd yn y tŵr, ac a ruddfanasant yn danbaid; gan lefain allan na allent oddef ei weled felly yn cael ei ddifetha. Ar yr hyn y llefodd Eleazar arnynt na fyddent ddiystyr o hono, oblegid ei fod yn myned i ddioddef marwolaeth fwy truenus: ac a'u cynghorodd i waredu eu hunain, trwy ymostwng i'r awdurdod Rufeinaidd, ac i ffortun dda; gan fod pawb eraill yn awr wedi eu gorchfygu ganddynt. Y dynion hyn a gynhyrfwyd yn fawr â'r hyn a ddywedodd; a llawer eraill o fewn i'r ddinas a erfyniasant trosto, oblegid ei fod o dylwyth enwog a thra lliosog. Felly hwy a blygasant i'w tymmer o dosturi yn wrthwyneb i'w harfer. Yn ganlynol hwy a ddanfonasant allan genhadon i ammodi â'r Rhufeiniaid, mewn trefn i roddi i fynu y tŵr; gan ddymuno caniattâu iddynt ryddid i fyned ymaith, ac Eleazar gyd â hwynt. Yna y gwnaeth y Rhufeiniaid, a'u penciwdawd, dderbyniad o'r ammodau hyn: pan y darfu i'r lliaws o ddieithriaiaid ag oedd yn y ddinas isaf, wedi clywed am y cyttundeb a wnaed gan yr Iuddewon trostynt eu hunain yn unig, ymroi i wneuthur diangfa oddi yno yn ddirgel yn y nos. Ond cyn gynted ag yr agorasant eu pyrth, y rhai a ammodasai â Bassus, a fynegasant hyn iddo: pa un a oeddynt am wneuthur hynny o gynfigen at waredigaeth y lleill; neu ynte oddi ar ofn yr ydoedd, rhag cael achlysur yn eu herbyn hwy oblegid ymadawiad y lleill, sydd beth ansicr. Y rhai cefnoccaf gan hynny o'r gwŷr a aethant allan a rogflaenasant y gelyn, ac a ffoesant ymaith. Ond am y rhai a ddaliwyd o fewn i'r lle, fe'u lladdwyd hwynt, hyd y nifer o un fil a saith gant; megis ag y cymmerwyd y gwragedd a'r plant yn gaethion. Ond fel y tybiodd Bassus fod angenrheidrwydd arno i gyflawni yr ammod a wnaethai â'r rhai a roesent i fynu y tŵr, fe adawodd iddynt fyned ymaith, ac a adferodd Eleazar iddynt.

Wedi i Bassus sefydlu y matterion hyn, fe aeth ymaith gydâ brys i goedwig Jarden, megis y gelwir hi. Canys fe glywsai fod llawer o'r rhai a ddiangasent gynt o Jerusalem a Macherus, yn cyd-drigo yno. Wedi ei ddyfod gan hynny i'r lle, a deall nad oedd yr hanes a glywsai o'r blaen yn gamsyniol; fe amgylchodd yr holl fan â'i wŷr meirch: fel am gynnifer o'r

Iuddewon ag a fyddai â'r hyfdra ganddynt o gynnyg torri trwodd, na fyddai yn bossibl iddynt ddiangc, o herwydd sefydliad y gwŷr meirch hyn. Ac am y gwŷr traed, fe orchymmynodd iddynt dorri'r coed i lawr lle yr oeddynt wedi diangc i'w mysg. Yn awr yr oedd yr Iuddewon tan angenrheidrwydd o gyflawni rhyw weithred orchestol, ac o beryglu eu hunain yn fawr mewn brwydr, pan y gallent, ysgatfydd, trwy hynny ddiangc ymaith. Felly hwy a wnaethant ymosodiad cyffredinol: a chyd â gwaedd fawr hwy a syrthiasant ar y rhai a'u hamgylchent. Y rhai hynny, pa fodd bynnag, a'u derbyniasant gyd â chefnogrwydd mawr: a thra'r oedd un ochr yn ymladd yn erchyll, ac na fynnai'r llall roddi heibio, fe estynwyd ar yr ymladdfa trwy'r moddion hynny. Ond y canlyniad o'r frwydr nid attebodd ddisgwyliad yr ymosodwyr cyntaf. Canys fe ddigwyddodd na ddarfu i ychwaneg na deuddeg syrthio o du y Rhufeiniaid, gyd ag ychydig a glwyfwyd. Ond ni ddiangodd gymmaint ag un o'r Iuddewon o'r frwydr hon, eithr hwy a laddwyd oll, a hwy yn ddim llai i gyd mewn rhifedi na thair mil: a chyd â hwynt Judas, mab Jaïrus, eu penciwdawd: yr hwn a fuasai yn gadben ar lu o'r Iuddewon, yngwarchaedigaeth Jerusalem: a thrwy fyned i lawr i ryw geuedd tan y ddaear, efe yn ddirgel a ddiangasai.

Ynghylch yr un amser Cæsar a ddanfonasai lythyr at Bassus, ac at Liberius Maximus, yr hwn oedd ddirprwywr Judea; gan roddi gorchymmyn fod i holl Judea gael ei * gosod ar werth. Canys ni sylfaenodd un ddinas yno, ond a gadwodd y wlad iddo ei hun. Pa fodd bynnag, fe appwyntiodd le i wyth gant o wŷr, y rhai a ollyngasai yn rhydd o'i fyddin, ac a'i rhoddodd yn breswylfod iddynt. Gelwid y lle † Emmaus, a'i bellder oddiwrth Jerusalem oedd ‡ drugain o 'stadau. Efe hefyd a osododd deyrnged ar yr Iuddewon pa le bynnag y byddent yn preswylio; gan orchymmyn i bob un dalu dwy drachmæ yn flynyddol i'r cabidyldy, neu drysorfa Rufeinig, megis yr arferent dalu yr unrhyw swm i'r deml yn Jerusalem. A thyma oedd amgylchiad yr achosion Iuddewig yr amser hwn.

## PENNOD VII.

*Ymherthynas i'r blinderau a oddiweddodd Antiochus brenin Commagene. Hefyd am yr Alaniaid; a'r niweid a wnaethant i'r Mediaid a'r Armeniaid.*

YN awr, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Vespasian, fe ddigwyddodd ddarfod i Antiochus, brenin Commagene, gyd â'i holl deulu, syrthio i flinder mawr ar yr achos canlynol. Cesennius Petus, yr hwn oedd raglaw Syria y pryd hwn, un ai o barch i'r gwirionedd, neu oddiar gasineb i Antiochus; (canys pa un oedd y gwir achos ni wybuwyd fyth yn sicr;) a ddanfonodd epistol at Cæsar; ac a grybwyllodd ynddi, fod Antiochus gyd â'i fab Epiphanes, yn ymroddi i wrthryfela yn erbyn y Rhufeiniaid; ac wedi gwneuthur cyngrair â brenin Parthia i'r pwrpas hwnnw: a'i fod gan hynny yn gymmwys eu rhagflaenu hwynt. Yn awr, yr oedd Cæsar yn gogwyddo at ddangos peth gofal ynghylch y mater hwn, wedi ei ddatguddio yn y modd uchod: oblegid cymmydogaeth y teyrnasoedd a wnaeth i'r achos hwn fod yn deilwng o ystyriaeth fanylach. Canys y mae Samosata, prif-ddinas Commagene, yn gorwedd ar Euphrates: ac ar unrhyw fwriad o'r fath beth gallent beri iddynt dramwyfa hwylus trosodd at y Parthiaid; a chael yno dderbyniad diangol. Petus yn ganlynol a gredwyd; a chafodd awdurdod i wneud yr hyn a dybiai yn gymmwys yn yr achos. Felly fe ymosododd yn ei gylch yn ddioed; ac a syrthiodd ar Commagene, cyn i Antiochus a'i bobl ddisgwyl yn y mesur lleiaf am ei ddyfodiad. Yr oedd ganddo gyd ag ef y degfed lleng, megis hefyd rai minteioedd eraill, a lluoedd o wŷr meirch. Y brenhinoedd hyn hefyd a ddaeth yn gynnorthwy iddo: Aristobulus, brenin y wlad a

* Yr ydoedd yn beth tra hynod na ddarfu i Titus boblogi gwlad Judea ag oedd yn awr yn anghyfannedd; eithr gorchymmyn ei gwerthu hi. Ac yn wir nid yw wedi ei hiawn boblogi hyd y dydd hwn; ond yn aros yn barod i'w hen drigolion, yr Iuddewon, ar eu hadferiad mewn amser i ddyfod.

† Fod y ddinas Emmaus neu Ammaus yn Josephus ac eraill, yr hwn oedd le llywodraeth Julius Affricanus, yn nechrau y drydydd ganrhif, a'r hon a gafodd ganddo y pryd hynny ei hail-adeiladu; ac ar ol hynny ei galw yn Nicopolis, yn hollol wahanol oddiwrth yr Emmaus a grybwyllir gan St. Luc xxiv. 13. gwelwch Palestina gan Reland, Llyfr II. t. d. 429. a than yr enw Ammaus. Ond y mae'n uniawn farnu y gall yr Emmaus yn St. Luc, fod yr un yn gymmwys â'r Ammaus hon o'n blaen. Yn enwedig gan fod y copiau Groegaidd yma yn arferol o'i wneuthur yn 60 ystadau o bellder oddiwrth Jerusalem, megis y gwna St. Luc; er y crybwylla y copiau Lladin yn unig 30. Y fan hefyd a bennodwyd i'r 800 o filwyr hynny, megis yn wersyllfa Rufeinig, yn y lle hwn, a fuasai o naturiaeth yn rhy bell oddiwrth Jerusalem, fel yr oedd sefyllfa yr Emmaus arall neu Nicapolis.

‡ Neu ddeg ar hugain.

elwir Chalcidene; a Soemus, yr hwn a elwid brenin Emesa. Ac ni wnawd un math o wrthwynebiad i fyddinoedd Petus, pan y daethant i mewn i'r deyrnas. Canys ni wnai un yn y wlad honno gymmaint a chodi llaw i'w herbyn. Pan ddaeth y newydd annisgwyliadwy hwn at Antiochus, ni allai feddwl am wneud rhyfel â'r Rhufeiniaid: ond a benderfynodd adael ei deyrnas tan yr amgylchiad yr oedd yn awr ynddo; a myned ymaith yn ddirgel gyd â'i wraig a'i blant: gan feddwl wrth hynny wneuthur ei hun yn amlwg i'r Rhufeiniaid ei fod yn wirion oddi wrth y cyhuddiad a osodwyd i'w erbyn. Felly fe aeth ymaith o'r ddinas honno, cyn belled a chant ac ugain o 'stadau i'r gwastadedd; ac yno a osododd ei bebyll.

Petus ar hynny a ddanfonodd rai o'i wŷr i gymmeryd meddiant o Samosata; a thrwyddynt hwy efe a berchennogodd y ddinas honno: pan yr aeth efe ei hun i orddiwes Antiochus, gyd â'r rhan arall o'r fyddin. Pa fodd bynnag ni pherswadiwyd y brenin, gan y cyfyngder yr oedd ynddo, i wneud dim mewn ffordd o ryfel yn erbyn y Rhufeiniaid: ond fe ofidiodd o herwydd ei dost dynged ei hun. Ac fe ddioddefodd yn amyneddgar yr hyn ni allai ei ragflaenu. Ond ei feibion y rhai oedd ieuaingc ac yn ammhrofiadol mewn rhyfel, eithr yn gryfion o gorpholaeth, ni ellid yn hawdd eu perswadio i oddef y blinder hwn heb ymladd. Epiphanes gan hynny, a Calinicus, a ymroesant eu hunain i fyned tan arfau. Ac fel y bu brwydr galed rhyngddynt,yr hon a barhaodd trwy'r holl ddydd, hwy a ddangosasant eu gwrolder eu hunain mewn modd rhagorol, ac ni ddododd dim derfyn arno ond agoshad y nos, a hynny heb ddim lleihad o'u byddinoedd. Etto ni fynnai Antiochus, ar y canlyniad yma o'r frwydr aros yno mewn un modd, ond fe gymmerodd ei wraig a'i ferched, ac a ffodd ymaith gyd â hwynt i Cilicia: a thrwy wneuthur hynny fe hollol wanychodd feddyliau ei filwyr ei hun. Yn ganlynol hwy a wrthdrowyd, ac a aethant trosodd at y Rhufeiniaid, oddi ar yr anobaith yr oeddynt ynddo o fod i'w brenin gadw ei deyrnas: a'i sefyllfa a olygid gan bawb megis yn anobeithiol. Yr ydoedd gan hynny yn angenrhaid i Epiphanes a'i filwyr fyned o gyrraedd eu gelynion, cyn dyfod o honynt yn hollol amddifad o gyngreirwyr. Ac nid oedd ychwaneg na deg o wŷr meirch gyd ag ef pan aethai tros Euphrates. Oddi yno hwy a aethant heb ddim aflonyddwch at Vologeses, brenin Parthia; lle ni fuwyd yn annerbyniol o honynt fel crwydraid; ond a gawsant yr un parch wedi ei ddangos iddynt a phe buasent yn meddiannu eu llwyddiant blaenorol.

Yn awr wedi dyfod o Antiochus i Tarsus, yn Cilicia, Petus a orchymmynodd i ganwriad fyned atto, a'i ddanfon mewn rhwymau i Rufain. Pa fodd bynnag ni oddefai Vespasian i anfon brenin atto yn y modd hwnnw: ond fe dybiodd yn gymmwys yn hytrach i berchi y cyfeillgarwch a fuasai gynt rhyngddynt, nac i gadw digofaint anymbilgar trwy'r esgus o'r rhyfel hwn. Yn ganlynol fe roddodd orchymmyn ar iddynt gymmeryd ymaith ei rwymau, tra'r ydoedd etto ar y ffordd; ac na fyddai iddo ddyfod i Rufain, ond bod iddo fyned i drigo yn awr yn Lacedæmon. Gorchymmynodd iddo hefyd deyrnged helaeth; fel y gallai fyw nid yn unig mewn digonoldeb, ond fel brenin hefyd. Wedi i Epiphanes, yr hwn oedd o'r blaen mewn ofn mawr am ei dad, gael ei wneud yn hyspys o hyn, eu meddyliau a ryddhawyd oddiwrth hynny, a'r gofal anhepcor oedd ganddynt am eu tad. Efe hefyd a obeithiodd yr ymgymmodai Cæsar â hwynt, ar eiriolaeth Vologeses. Canys er ei fod yn byw mewn helaethrwydd, ni's gwyddai pa fodd i oddef trigo allan o'r ymerodraeth Rufeinig. Felly Cæsar a roddodd gennad mewn modd rhwymedig iddo, ac efe a ddaeth i Rufain; a'i dad a ddaeth yn fuan atto o Lacedæmon, a chafodd pob math o barch ei ddangos iddo, ac yno yr arhosodd.

Yn awr yr ydoedd cenedl o'r Alaniaid y rhai a elwid Scythiaid, ac yn trigo yn agos i'r llyn Meoris. Y genedl yma, ynghylch yr amser hwn, a gymmerasant fwriad i syrthio ar Media, a'r parthau tu hwnt iddi, mewn trefn i'w hanrheithio hwynt. Gyd â pha amcan hwy a gyfarchasant frenin Hyrcania: canys yr ydoedd efe yn awdurdodi ar y lle o dramwyad yno, pa un a ddarfu i Alexander Fawr ei gau i fynu â phyrth heiyrn. Y brenin hwn a roddodd gennad iddynt i fyned trwyddynt. Felly hwy a aethant yn lliaws mawr, ac a syrthiasant yn annisgwyliadwy ar y Mediaid, gan anrheithio

eu gwlad, yr hon a gawsant yn llawn pobl, ac wedi ei hilio ag amldra mawr o anifeiliaid; pan na feiddiodd neb wneuthur dim gwrthwynebiad iddynt. Canys Pacorus, brenin y wlad, a ffoisai ymaith gan ofn, i leoedd anghyfannedd, na's gallent yn hawdd ddyfod atto; ac a roesai i fynu bob peth oedd ganddo iddynt hwy; ac a achubasai yn unig ei wraig a'i ordderchadon rhagddynt, a hynny hefyd gyd ag ánhawsdra, wedi eu cymmeryd yn gaethion, trwy roddi iddynt gant o dalentau er eu hadbryniad hwynt. Yr Alaniaid yma gan hynny a yspeiliasant y wlad yn ddiwrthwynebiad, a chyd â hwylusdod mawr; gan fyned ym mlaen cyn belled ag Armenia, a difrodi pob peth o'u blaen. Yn awr Tiridatas oedd frenin y wlad honno; yr hwn a'u cyfarfu ac a ymladdodd â hwynt; ond a fu debyg i'w gymmeryd yn fyw yn y frwydr. Canys rhyw un a daflodd rwyd trosto ef, er ei fod ym mhell oddi wrtho; ac a fuasai yn fuan yn ei dynnu atto, pe na's torrasai hi yn gyflym â'i gleddyf, a diangc ymaith, gan eu rhagflaenu hwynt. Felly yr Alaniaid, wedi eu cythruddo yn fwy trwy'r ymladdfa hon, a ddifrodasant y wlad: ac a yrrasant ymaith liaws mawr o ddynion, a mesur helaeth o ysglyfaeth arall a gawsant ym mhob un o'r teyrnasoedd, ac a'u dygasant gyd â hwynt: ac yna y dychwelasant i'w gwlad eu hunain.

## PENNOD VIII.

*Ymherthynas i Masada, a'r Sicarii oedd yn geidwaid arni. Gwarchaedigaeth y tŵr hwnnw gan Silva; ac ymadroddion Eleazar wrth y gwarchaedigion.*

WEDI marw Bassus yn Judea, Flavius Silva a ddaeth ar ei ol ef, * megis rhaglaw yno: yr hwn pan welodd yr holl ran arall o'r wlad wedi ei darostwng yn y rhyfel hwn, ac nad ydoedd ond un amddiffynfa yn aros mewn gwrthryfel; fe gasglodd ei holl fyddin ynghyd a orweddent yn amryw leoedd, ac a wnaeth ymgyrch i'w herbyn. Yr amddiffynfa hon oedd Masada. Un Eleazar, gwr galluog, a blaenor y Sicarii, a'i goresgynnasai hi. Efe oedd un o hiliogaeth y Judas hwnnw, pa un a berswadiodd lawer o'r Iuddewon, fel yr adroddasom o'r † blaen, i beidio ymostwng i'r trethiad, pan ddanfonasid Cyrenius i'w wneuthur i Judea. Canys yna y bu i'r Sicarii ymgasglu ynghyd yn erbyn y rhai a ewyllysient ymostwng i'r Rhufeiniaid; ac a'u triniasant ym mhob ystyriaeth fel pe buasent eu gelynion: yn gystal trwy eu hyspeilio o'r hyn oll a feddent; trwy yrru ymaith eu hanifeiliaid; a thrwy osod eu tai ar dân. Canys dywedasant nad oeddynt yn gwahaniaethu dim oll oddiwrth ddieithriaid, trwy fradychu, mewn modd llwfr ac anhyderus, y rhyddid hwnnw a feddyliodd yr Iuddewon yn deilwng o ymryson am dano hyd yr eithaf: a thrwy addef eu bod yn dewis caethiwed tan y Rhufeiniaid, o flaen y cyfryw ymryson. Yn awr nid oedd hyn mewn gwirionedd amgen nag esgus, a gorchudd i'r barbariaeth a wnaethant hwy ddefnydd o hono; yr hyn yn ol hynny a wnaethent yn amlwg wrth eu gweithredoedd. Canys y rhai oedd gymheiriaid iddynt yn eu gwrthryfel, a unasant hefyd â'r rhai oedd yn erbyn y Rhufeiniaid; ac a aethant i raddau pellach gydâ hwynt yn eu hymosodiadau digywilydd i'w herbyn. A phan gyhuddid hwynt o dwyll yn eu hesgusodion, hwy a ddirmygent yn fwy y rhai a'u gwaradwyddai yn gyfiawn am eu drygioni. Ac yn wir amser oedd hwnnw mwyaf ffrwythlon o bob math o ddrwg ymarferiadau; yn gymmaint ag nad oedd un math o ddrwg weithred yn cael ei gadael y pryd hwnnw heb ei chyflawni. Ac ni allai neb gymmaint a dyfeisio un drwg o'r newydd; mor ddwfn yr oeddynt wedi llygru, ac yr ymrysonasant y naill â'r llall yn eu sefyllfaoedd neillduol, a'u cymdeithasau cyhoeddus, pwy a elai rhagddo i fwyaf o bellder mewn annuwioldeb tu ag Dduw, ac mewn ymddygiadau anghyfiawn tu ag at eu cymmydogion: y gwŷr o awdurdod yn gorthrymmu'r lliaws; a'r lliaws yn egnio eu hunain i'w drygu hwythau; un rhan yn ewyllyiso llywodraethu yn orthrymmus ar y llall; a hwythau mewn parodrwydd i wneuthur trais ar eraill, ac i yspeilio y rhai a fyddent gyfoethoccach na hwy eu hunain. Y rhai a ddechreuasant droseddu yn y modd hwn ydoedd y Sicarii, a'r sawl a ymddygasant gyntaf yn farbaraidd at y rhai oedd garennydd iddynt; fel na adawent ddim geiriau gwaradwyddus heb eu dywedyd, na dim gweithred-

* Ynghylch B. A. 73.

† Gwel Llyfr II. pen. 8. Hynaf. XVIII. 1.

oedd dinystriol heb eu harfer, mewn trefn i ddifetha y rhai a nodai eu drwg ddyfais iddynt. Etto darfu i Ioan ‡ amlygu trwy ei weithredoedd, fod y Sicarii hynny yn fwy cymmedrol nag ef ei hun. Canys efe nid yn unig a laddai y rhai a'i cynghorai i wneud yr hyn oedd gyfiawn; ond a'u triniai yn waeth na neb, ac fel y gelynion gwaethaf oedd ganddo ym mysg y dinasyddion. Nagê, fe lanwodd ei holl wlad gyd â deg mil o siamplau o ddrygioni; y cyfryw ag a wnai dyn wedi ei galedu yn hollol eisoes mewn annuwioldeb, o naturiaeth. Canys yr ymborth yn anghyfreithlon a osodid ar ei fwrdd ef: ac efe a ymwrthododd â'r puredigaethau hynny ag oedd cyfraith ei wlad yn ei orchymmyn. Felly nid oedd mwyach yn rhyfeddod, i'r hwn oedd wallgofus yn ei fuchedd a'i grefydd tu ag at Dduw, beidio sylwi ar reolau o gymmedroldeb, a charedigrwydd naturiol tu ag at ddynion. Drachefn, gyd â hynny, pa ddrygau ydoedd, na ddarfu i Simon, mab Gioras, eu cyflawni. Neu pa fath boenau a arbedodd efe ymherthynas i'r dinasyddion a'i gosodasai i fynu yn orthrymmwr? Pa gyfeillach neu garennydd ydoedd, a'r na's gwnaeth ef yn fwy hyfach yn ei lofruddiaeth feunyddiol; Canys hwy a edrychent ar wneuthur drwg yn unig i ddieithriaid fel gwaith ysgafn, a rhy fychan i'w creulonder: ond a farnent y byddai eu barbariaeth tu ag at eu hagosaf garennydd yn amlygrwydd digonol o'r unrhyw. Yr Idumeaid hefyd a ymdrechasant gyd â'r dynion hyn, i ddangos pwy a fyddai'n euog o'r cynddaredd mwyaf. Canys hwynt-hwy oll, yn ddihirwyr fel yr oeddynt, a ollyngasant waed yr archoffeiriaid; fel trwy hynny na fyddai i un rhan o addoliad crefyddol i Dduw gael ei gynnal. Hwy ar ol hynny a aethant ym mlaen i lwyr ddadymchwelyd gweddillion y llywodraeth wladol; ac a ddygasant i mewn drefn fwyaf anwireddus ym mhob achosion ymarferol. Tan ba ryw drefn, y fath hynny o ddynion a elwid yn frwd-frydwyr a dyfasant i fynu; a'r rhai yn wir a gyfattebai i'w henwau oeddynt: canys hwy a ddilynent bob gweithred ddrwg. Neu os deuai i'w cof ryw beth drygionus a wnaethid gynt, ni ochelent hwy gyd ag awyddfryd mawr wneuthur yr un peth. Ac er iddynt osod arnynt eu hunain yr enw hwnnw, megis pe buasai o sêl tros yr hyn oedd dda; etto nid oedd yn cyttuno â hwynt ond yn unig mewn ffordd o wawd-iaith; ar gyfrif y rhai a driniasant yn anghyfiawn, yn ol eu tueddrwydd gwaedwyllt a bwystfilaidd; neu trwy gyfrif y drwg mwyaf yn ddaioni goreu. Yn ganlynol hwy oll a gyfarfuant â'r fath ddiwedd ag a ddygodd Duw yn haeddiannol arnynt, mewn ffordd o gospedigaeth. Canys yr holl drueni a ddichon natur dyn fyned tano a ddygwyd arnynt, hyd eithaf diweddiad eu bywydau; nes i farwolaeth eu gorddiwes trwy amryw fath o arteithiau. Etto gallasai un ddywedyd yn gyfiawn iddynt ddioddef llai na'r hyn a wnaethent; o herwydd ei fod yn ammhossibl gwneud iddynt ddioddef yn ol yr hyn a haeddent. Ond i ddangos galar cyfattebol i'r hyn a haeddai y rhai a syrthiasant trwy farbariaeth y dynion hyn, nid i'w addas i'r lle yma. Gan hynny mi ddychwelaf at y rhan weddilledig o'r hanes bresennol.

Yn awr y bu dyfodiad y penciwdawd Rhufeinig, ac yr arweiniodd ei fyddin yn erbyn Eleazar, a'r Sicarii hynny ag oedd yn gwylio amddiffynfa * Masada gyd ag ef. Ac am yr holl wlad gyssylltedig fe'i hynnillodd ar fyrder, ac a osododd wersylloedd yn y mannau mwyaf perthynol. Efe hefyd a adeiladodd fur o amgylch yr amddiffynfa; fel na byddai i neb o'r rhai gwarchaedig allu yn hawdd ddiangc ymaith; ac a osododd ei wŷr i wylio ar amrywiol fannau o honi. Efe hefyd a wersyllodd yn y fath le cyfleus ag a ddewisasai i fyned ym mlaen â'r cynllwyn; ac ym mha le yr oedd y graig berthynol i'r amddiffynfa yn sefyll nesaf i'r mynydd cymmydogaethol: yr hwn etto ydoedd le anhawdd i gael helaethrwydd o ymborth iddo. Canys nid lluniaeth yn unig ydoedd i'w ddwyn o bellder mawr i'r fyddin, a hyn gyd â phoen ddirfawr i'r Iuddewon a appwyntiwyd i'r pwrpas hwnnw; ond yr ydoedd dwfr i gael ei ddwyn i'r gwersyll; o herwydd nad oedd un ffynnon yn agos i'r lle. Wedi i Silva gan hynny roddi gorchymmyn ynghylch yr achosion hyn, fe ddechreuodd osod cynllwyn i'r lle: pa ryw gynllwyn neu warchae ydoedd debyg o sefyll mewn angen o gyfarwyddyd a llafur mawr, o herwydd cadernid yr

‡ Ioan o Gischala, Llyfr IV. pen. 3.

* Gwel Llyfr I. pen. 12. Hynaf. XIV. 11.

amddiffynfa, natur pa un yn awr a ddescrifiaf.

Yr ydoedd yno graig, nid bychan o gwmpas, ac yn dra uchel. Hi a amgylchwyd â phantle neu ddyffrynoedd o'r fath ddyfndwr islaw iddi, fel na allai'r llygad weled eu gwaelod. Yr ydoedd yr ochrau yn serth, ac yn fath na allai un creadur byw gerdded ar hyd-ddynt; oddigerth ar ddau le o'r graig lle y mae yn gwaelodi, mewn trefn i gael ffordd i esgyniad, er nad heb anhawstra. Yn awr am y ffyrdd ag sydd yn arwain yno, un o honynt sydd oddiwrth lynn Asphaltites, tu a chodiad haul; ac un arall ar y gorllewin, lle y mae'r esgynfa yn esmwythach. Un o'r ffyrdd yma a elwir y sarph neu neidr; trwy fod yn tebygoli i'r creadur hwnnw o ran ei meindra, a'u pharhaus ddoleniad neu drofeydd. Canys hi a dorrir ymaith wrth fargodawl ddibyn y graig, ac a ddychwel yn fynych iddi ei hun; a thrwy ymestyn drachefn o fesur ychydig ac ychydig, hi a arweinia yn y blaen. A'r hwn a fynnai dramwyo ar hyd-ddi, a raid iddo fyned yn gyntaf ar un glin, ac yna ar y llall. Nid oes hefyd dim i'w ddisgwyl ond dinystr, os bydd i droed lithro. Canys ar bob tu y mae'r fath gagendor ddofn a serthallt, ag sydd ddigon i lethu y cefnogrwydd mwyaf mewn dyn, trwy'r dychryn y mae yn ei ddwyn i'r meddwl. Wedi i un gan hynny fyned rhagddo ar hyd y ffordd honno ddeg ar hugain o 'stadau, y rhan arall sydd ar ben y mynydd; heb ddiweddu ar flaen cul, ond mewn gwastadedd ar y man uchaf o'r mynydd. Ar y pen yma o'r mynydd Jonathan yr archoffeiriad, gyntaf oll, a adeiladodd amddiffynfa, ac a'i galwodd hi Masada. Ar ol yr hyn y darfu i ail-adeiladaeth y lle yma ynnill gofal y y brenin Herod i raddau mawr. Efe a adeiladodd fur o amgylch pen eithaf y mynydd yn saith ystadau o hyd. Yr ydoedd yn gynnwsedig o feini gwynion. Ei huchder oedd ddeuddeg, a'i lled yn wyth o gufyddau. Gwnaethwyd hefyd ar y gaer neu'r mur hwnnw ddeunaw ar hugain o dyrau; a phob un o honynt yn ddeg cufydd a deugain o uchder. O ba rai y gellid myned i ail-adeiladau, a wnaethid o'r tu fewn, gyd â chylchyniad yr holl fur. Canys y brenin a arbedodd frig y mynydd, yr hwn ydoedd dir ffrwythlon, ac o ansawdd gwell nag un dyffryn i'w lafurio: fel na byddai i'r sawl a ymddiriedent eu hunain i'r amddiffynfa hon ammeu cadwedigaeth yn hollol ymddifad o luniaeth, os digwyddai iddynt fod mewn diffyg o hono un amser o le arall. Ymhellach efe a adeiladodd yno balas, ar yr esgynfa o du'r gorllewin. Yr ydoedd o fewn, ac islaw caerau'r tŵr; ond yn tueddu at ei ochr gogleddol.

Yn awr mur y palas hwn ydoedd dra uchel a chadarn; ac oedd ar ei bedair congl ag iddo dyrau o drugain cufydd o uchder. Hefyd dodrefn yr adeiladau, a'r cynteddau, ynghyd â'r ymolchfeydd, oeddynt yn amrywiaethol, ac yn dra chostfawr: a'r adeiladau hyn a gynhelid gan golofnau o feini cyfain ar bob ochr. Muriau hefyd, a lloriau'r tai, a balmentid â cherrig o wahanol liwiau. Efe hefyd a dorasai amryw dyllau mawrion, yn dderbynfeydd dw'r gwlaw, yn y creigiau, wrth bob un o'r mannau ag oedd â rhai yn preswylio ynddynt; yn gystal oddi ar, ac o amgylch y palas, ac o'r tu blaen i'r mur: a thrwy'r ddyfais hon, fe ymdrechodd i gael dwfr yno at bob achosion, fel pe buasai ffynhonnau yn y lle. Yma hefyd yr oedd ffordd wedi ei chloddio o'r palas, yn arwain i ben uchaf y mynydd; yr hon etto ni ellid ei chanfod gan y rhai a fyddent y tu allan i'r muriau. Nac yn wir nid hawdd y gallai gelynion ddilyn y ffyrdd tramwyol: canys y ffordd ar du'r dwyrain, fel y sylwiasom eisoes, ni ellid ei cherdded o herwydd ei serthedd a'i llithrigrwydd. Ac am y ffordd orllewinol, fe adeiladodd dwr helaeth wrth y lle culaf arni; mewn dim llai pellder oddiwrth frig y mynydd na mil o gufyddau. Pa ryw dŵr nid oedd bosibl myned heibio iddo na'i gymmeryd heb anhawsdra. Ac ni allai yn wir y rhai a gerddent gyd â'i ochr yn ddiofn, (y fath ydoedd ei drefniad,) yn hawdd gyrraedd ei ben eithaf. Ac yn y cyfryw fodd yr ymddiffynasid y tŵr hwn, gan naturiaeth yn gysal a chan ddwylaw dynion, mewn trefn i rwystro ymosodiad oddi wrth elynion.

Am yr ystôr ag ydoedd o fewn i'r amddiffynfa hon, yr oedd i'w ryfeddu ar gyfrif ei ragoroldeb a'i hir barhad: canys yma yr oedd ŷd neu lafur, wedi ei osod i fynu yn fesurau mawrion, a'r fath ag a gynhaliai ddynion tros hir amser. Yr oedd yma hefyd win ac olew mewn helaethrwydd mawr; gyd â phob math o ddefnyddiau ymborth wedi eu pentyrru ynghyd. Yr hyn oll a gafodd Eleazar yno, pan ddarfu iddo ef â'i

Sicarii gael meddiant o'r amddiffynfa trwy fradwriaeth. Y ffrwythau hyn oeddynt hefyd yn edrych yn newydd ac yn aeddfed: ac heb fod mewn un modd wedi gwaethygu mwy na'r ffrwythau a gynhanafwyd yn ddiweddar, er ei fod o fewn ychydig i * gan mlynedd er pan osodasid y cyfryw ymborth i fynu yn y lle hwn, gan Herod, hyd oni chymmerwyd y fan gan y Rhufeiniaid. Iё, yn wir, wedi i'r Rhufeiniaid gael meddiant o'r ffrwythau hyn a weddillasid, hwy a'u cawsant yn ddilwgr wedi'r holl amser hwnnw a aethai heibio. Ac ni cham-gymmerem wrth farnu, mai natur yr awyr yn y lle hwn oedd yr achos o gadwedigaeth yr ymborth tros gyhyd o amser; o herwydd fod yr amddiffynfa â'i sefyllfa mor uchel, ac yn rhydd oddi wrth gymmysg-awyr ddaearaidd a lleidiog. Cafwyd hefyd yn y lle yma amldra mawr o bob math o arfau rhyfel, y rhai a drysorasid i fynu gan y brenin hwnnw, ac a oeddynt yn cyfatteb i ddeg mil o ddynion. Yr ydoedd yno haiarn bwrw, pres, ac alcam. Yr hyn a ddengys ei fod ef wedi cymmeryd poen lawer i geisio pob peth yn barod yma i'r achosion mwyaf. Canys fe ddywedir ddarfod i Herod barottoi yr amddiffynfa hon ar ei gyfrif ei hun, megis noddfa gogyfer â dau fath o berygl. Un trwy ofn y lliaws o Iuddewon; rhag iddynt ei ddiorseddu, ac adferu eu brenhinoedd o'r blaen i'r llywodraeth. Y perygl arall ydoedd fwy ac yn enbyttach, yr hwn a gyfodai oddi wrth Cleopatra, brenhines yr Aipht: yr hon ni chuddiodd ei hamcanion; ond a lefarodd yn fynych wrth Antony, i ddymuned arno dorri Herod ymaith, a gwneuthur rhodd o deyrnas Judea iddi hi. Ac yn sicr yr oedd yn rhyfeddod fawr na chydsyniasai â'i gofynion yn y pwngc hwn; gan fod ei nwydau wedi eu caethiwo mor druenus â'i chyfeillach anniwair hi: ac ni fuasai ryfedd gan neb pe boddhasid hi â chaniattâd o'i heirchion. Felly yr ofn o'r peryglon hyn a wnaeth i Herod ailadeiladu Masada; ac wrth hynny ei gadael yn barod i ergyd olaf y Rhufeiniaid yn y rhyfel Iuddewig hwn.

Wedi darfod gan hynny i'r cadflaenor Rhufeinig, Silva, adeiladu mur allanol, o amgylchogylch yr holl le, fel y dywedasom eisoes: a gwnaed o hono trwy barottoad digonol i rwyffaenu y gwarchaedigion rhag diangc ymaith; cymmerodd arno ofal y cynllwyn ei hun: er na chafodd ond un lle yn unig ag a allai gyfodi ei wrthglawdd arno. Canys y tu ol i'r tŵr ag oedd yn diogelu y ffordd a arweiniai i'r palas, ac i ben y mynydd, o du'r gorllewin, yr oedd rhyw oruchder o'r garig, yn llydan a thra serth, heb fod ond tri chant o gufyddau islaw y parth uchaf o Masada; ac a elwid y Pennaeu Gwyn. Yn ganlynol fe sefydlodd ar y rhan hynny o'r graig, ac a orchymmynodd i'r fyddin ddwyn pridd yno. A phan gwympasant at y gwaith hwnnw gyd â sirioldeb, a digonedd o honynt ynghyd, y gwrthglawdd neu fryncyn a gyfodwyd, a phrofodd yn gadarn, am ddau cant o gufyddau mewn uchder. Etto meddyliwyd nad oedd y bryn gwneuthuredig hwn o ddigonol uchder, i'r peiriannau a osodid arno; ond etto codwyd gwaith arall o feini mawrion arno, wedi eu cyd-gyssylltu. Y peiriannau eraill, y rhai a gafwyd yn awr yn barod, oeddynt debyg i'r rhai a ddarluniwyd gyntaf gan Vespasian, ac a ddefnyddiwyd ar ol hynny mewn cynllwynion gan Titus. Gwnaethpwyd tŵr yno hefyd o drugain cufydd o uchder, ac a orchuddiwyd oll trosto â llafnau o haiarn. Allan o ba un y Rhufeiniaid a saethasant biccellau a cherrig o'r peiriannau; ac a wnaethant i'r rhai a ymladdasant oddi ar furiau'r lle yn fuan i gilio ymaith; ac ni adawsant iddynt godi eu pennau uwchlaw'r gweithiau. Ar yr un pryd Silva a orchymynodd i'r peiriant dyrnodiol a wnaethai gael ei ddwyn yno, a'i osod gyferbyn a'r mur, ac i guro yn fynych arno. Trwy'r moddion hyn, efe gyd â pheth anhawsdra, a dorodd i lawr ran o hono, ac a'i llwyr ddadymchwelodd. Pa fodd bynnag y Sicarii yn ebrwydd a wnaethant fur neu glawdd arall y tu fewn i hwnnw, yr hwn ni fyddai ddarostyngedig i'r un anhap oddi wrth y peiriannau â'r llall. Fe'i gwnaethpwyd yn fasw ac yn giliedig, ac felly yn gallu gochelyd y niweid a dderbyniai y llall oddi wrth nerth yr ergydion. Fe'i lluniwyd yn ol y dull canlynol: gosodasant drawstiau o goed yn ogyhyd; a'r naill o honynt yn dynn wrth ben y llall, yr un modd ag y torrasid hwynt. Yr

* Pliny, ac eraill a gadarnhant y tŷb anhygoel hwn; y peru rhyw fath o ymborth a osoder o'r neilldu gogyfer â gwarchae neu gynllwyn gan elynion, tros gan mlynedd heb ei niweidio; fel y noda Spanheim ar y lle hwn.

oedd dwy res o'r rhai hyn yn cyd-gyfatteb i'w gilydd; ac wedi eu gosod â'r fath bellder rhyngddynt ag yr oedd lled eu clawdd yn ei ofyn; a llenwid i fynu â phridd y gwagle rhwng y rhesau hyn. Yn awr fel na byddai i'r pridd neu'r tywyrch gael eu bwrw i lawr ar godiad y gwrthglawdd yn uwch gan y gelynion; hwy ymhellach a osodasant drawstiau neu dylathau eraill yn groes trostynt; ac wrth hynny a rwymasant y swmmerau a orweddent danynt yn ogyhyd. Y gwaith hwn o'r eiddynt ydoedd megis adeilad sylweddol. Ac wedi cymhwyso y peiriannau atti, gwanhawyd eu hergydion trwy eu soddiad iddo, yn hytrach na dryllìad y clawdd: ac fel yr oedd y defnyddiau trwy'r fath ysgytfa yn cael eu gwasgu ynghyd, yr amddiffynglawdd a ddaeth yn gadarnach. Pan ddeallodd Silva hyn, tybiodd mai'r ffordd oreu oedd difetha'r clawdd trwy ei osod ar dân. Felly fe orchymmynodd i'r milwyr fwrw nifer fawr o ffaglau llosgadwy arno. Yn ganlynol fel yr oedd wedi ei wneuthur, gan mwyaf o goed, cymmerodd dân yn ebrwydd; a'i wagter ynddo a barodd i'r tân ymdaenu yn eirias dychrynadwy. Yn awr ar eunyniad y tân hwn, y gogleddwynt, yr hwn a chwythodd y pryd hynny, a barodd ddychryn i'r Rhufeiniaid: canys trwy chwythu y fflam i wared, yr ydoedd yn ei ddwyn arnynt hwy, ac yr oeddynt yn agos i anobeithio am lwyddiant, gan ofni y llosgid eu peiriannau. Ond wedi hyn fe drodd y gwynt ar fyr i'r dehau; megis pe'i gwnaethid gan ddwyfol ragluniaeth: ac fe chwythodd yn gryf yn y ffordd wrthwyneb, gan droi y fflam at yr amddiffynglawdd, pa un yn awr ydoedd ar dân, trwy'r holl adeilad drwchus o hono. Felly y Rhufeiniaid wedi eu cynnorthwyo oddiwrth Dduw, a ddychwelasant i'w gwersyll gyd â llawenydd, gan ymroddi i orddiwes eu gelynion y dydd nesaf. Ar ba achos gosodasant wyliadwriaeth ar y lle gyd â mwy o ofal y nos honno, rhag i'r Iuddewon ddiangc yn ddiarwybod, heb eu datguddio.

Eleazar, pa fodd bynnag, ni feddyliodd ffoi ymaith, ac ni adawai i neb arall wneuthur hynny. Ond pan welodd eu hamddiffynglawdd wedi ei losgi i lawr â thân; ac na fedrai ddychymmygu un ffordd arall o ddiangfa, neu le iddynt arfer eu cefnogrwydd mwyach; a chan osod o flaen eu llygaid yr hyn a wnai y Rhufeiniaid iddynt, eu plant, a'u gwragedd, os caent hwy tan eu hawdurdod; efe a ymgynghorodd ynghylch lladd eu hunain oll. Yn awr fel y barnodd mai hyn oedd y peth goreu a allent wneuthur yn eu hamgylchiadau presennol, fe gasglodd y rhai mwyaf eu calondid o'i gymdeithion ynghyd, gan eu hannog i gymmeryd y ffordd honno; yr hyn a wnaeth trwy ymadroddi yn debyg i'r geiriau a ganlyn:----"Gan ddarfod * i ni er's hir amser, gyfeillion hynaws, benderfynu peidio â bod yn weision i'r Rhufeiniaid, nac i neb arall ond Duw ei hun, yr hwn yn unig yw gwir a chyfiawn Arglwydd dynolryw; yr amser yn awr a ddaeth i amlygu o honom y penderfyniad hwnnw, a'i ddodi mewn ymarferiad. Ac na fydded i ni yr amser hwn ddwyn gwaradwydd arnom ein hunain trwy wrthwyneb ymddygiad; pan na fynnem ni gynt fyned tan gaethiwed, er ei fod yn ddi berygl: ond sydd raid i ni yn awr, ynghyd â chaethiwed, ymostwng i'r fath gospedigaethau hefyd ag sydd yn anniodd-efol Yr wyf yn ystyried hyn oddi ar y dychymmyg o fod i'r Rhufeiniaid ein cael unwaith tan eu hawdurdod tra'r ydym yn fyw. Nyni oedd y rhai cyntaf a giliodd oddi wrthynt; ac nyni yw y rhai diweddaf a ymladdent i'w herbyn. Ac ni allaf amgen na'i gyfrif yn ffafr a ganiattaodd Duw i ni, fod etto yn ein gallu i feirw trwy galondid, ac mewn cyflwr o ryddid, yr hyn ni chafodd eraill trwy ddarfod eu goresgyn yn annisgwyliadwy. Mae'n ddigon amlwg y cymmerir ni ym mhen diwrnod o amser: ond etto y mae'n ddewisiad teilwng i farw, mewn modd clodfawr, gyd â'u hanwylaf gyfeillion. Dyma'r hyn na all ein gelynion eu hunain mewn un modd ei luddias; er eu bod yn mawr ddymuno ein cymmeryd ni yn fyw. Ac ni's gallwn ni mwyach addaw i ni ein hunain gael ymladd â hwynt, a'u gorchfygu. Buasai yn wir yn gymmwys i ni ddyfalu pwrpas Duw yn gynt tu

* Hyn, gyd â'r ymadroddiad canlynol, a ddygir yma i mewn tan enw yn a elwid Eleazar sydd yn dra hynod, ac ynghylch matterion mwyaf pwysig; sef, dirmyg ar farwolaeth, ynghyd â mawredd ac anfarwoldeb yr enaid: a hynny nid yn unig ym mhlith yr Iuddewon, ond ym mysg yr Indiaid eu hunain hefyd: ac sydd yn werth ei edrych trosodd gan y rhai manol a chywraint. Fe ymddengys megis pe byddai y foneddiges philosophyddaidd a fu fyw ar ol hyn, pen. 9. yn cofio sylwedd yr ymadroddion yma a lefarwyd gan Eleazar: felly, Josephus a'u harwisgodd â'i eiriau ei hun. O'r hyn lleiaf y maent yn cynnwys y dychymygion Iuddewig ar y pennau hyn, megis y deallid hwynt y pryd hwnnw gan ein hanesydd; ac ni all amgen na haeddu ein sulw ninnau.

ag attom; hyd yn oed ar y dechrau, pan oeddym gymmaint ein bwriadau i amddiffyn ein rhyddid, a phan dderbyniasom y fath driniaeth chwerw y naill gan y llall, a thriniaeth waeth oddiwrth ein gelynion; ac i fod yn ystyriol mai yr un Duw ag a gymmerasai y genedl Iuddewig gynt i'w ffafr, oedd yn awr wedi eu rhoddi i fynu i'w difetha. Canys pe buasai un a'i yn parhau yn ffafriol, neu mewn llai gradd yn ddig wrthym, ni edrychasai heibio i ddinystriad cynnifer o ddynion, na thraddodi ei sancteiddiaf ddinas i'w llosgi a'i difrodi gan ein gelynion. Yn sicr yr oedd rhyw ddisgwyliad gwan genym o achos ein hunain, a nyni ein hunain, yn unig, mewn cyflwr o ryddid; megis pe na buasem yn euog y ddim pechodau tu ag at Dduw; nac yn gyd-gymheiriaid â rhai eraill. Nyni hefyd a ddysgem bobl eraill i gynnal eu rhyddid. O herwydd paham ystyriwn, y modd yr argyhoeddwyd ni gan Dduw, i fod ein gobaith oll yn ofer, trwy ddwyn y fath flinderau arnom, yn y cyflwr anobeithiol y daethom yn awr iddo, pa un ydoedd bell o'n disgwyliad. Canys trefniadau yr amddiffynfa hon, pa un ynddi ei hun ydoedd yn anorchfygol, ni phrofodd yn foddion o waredigaeth i ni. Ac er meddu o honom etto helaethrwydd o ymborth, a rhifedi mawr o arfau ynghyd ag angenrheidiau eraill fwy nag sydd arnom eu heisiau; fe'n hymddifadir yn amlwg gan Dduw ei hun o bob gobaith o waredigaeth. Canys y tân yr hwn a chwythwyd gyntaf ar ein gelynion, ni ddarfu iddo o hono ei hun, droi yn ol ar y clawdd a wnaethom. Hyn oedd effaith digter ac anfoddlonrwydd Duw tu ag attom, am ein hamrywiol bechodau a fuom ni yn euog o honynt, mewn modd mwyaf trahaus a rhyfygus, ymberthynas i'n cydwladwyr. Gadewch i ni gan hynny beidio derbyn ein cosp gan y Rhufeiniaid, ond oddiwrth Dduw ei hun, megis wedi ei weithredu gan ein dwylaw ein hunain. Canys y farwolaeth hon gennym a fydd fwy cymhedrol na chan eraill. Bydded i'n gwragedd farw cyn eu hammherchi, a'n plant cyn iddynt brofi caethiwed. Ac wedi i ni eu lladd hwynt, cyfrannwn yr un lleshad y naill i'r llall; a chadwn ein hunain mewn rhydddid, megis cof-golofn angladdawl am danom. Ond yn gyntaf difethwn ein harian â'r amddiffynfa trwy dân. Canys y mae'n sicr gennyf y bydd hyn yn ofid i'r Rhufeiniaid; ac ni allant wrth hynny oresgyn ein cyrph, ac a fethant hefyd o'n cyfoeth. Ac na arbedwn ddim ond ein hymborth. Canys hynny a dystiolaetha, pan fyddom feirw, na ddarostyngwyd ni trwy ddiffyg angenrheidiau: ond ddarfod i ni, yn ol ein bwriadau cyntaf, ddewis marwolaeth o flaen cyflwr o gaethiwed."

Dyma oedd ymadroddion Eleazar wrthynt. Etto ni lonyddwyd meddyliau yr holl wrandawyr â'r fath honno: ac er bod rhai o honynt yn dra thanbaid am wneud ei gyngor, ac mewn rhyw ystyr yn cael boddlonrwydd ynddo, gan dybied mai da oedd iddynt farw: etto y rhai oedd o deimladau mwy tyner a dostorient tu ag at eu gwragedd â'u teuluoedd. A phan gynhyrfid y dynion hyn yn enwedig â golygiad ar sicrwydd eu marwolaeth eu hunain, hwy a edrychent yn ddwys-feddylgar y naill ar y llall: ac wrth y dagrau oedd yn eu llygaid, tystiasant eu hanghydsyniad â'r cyngor hwn. Pan welodd Eleazar y bobl hyn yn y fath ofn, a bod eu heneidiau yn brawychu wrth y cyfryw annogaeth arswydus; fe amheuodd rhag ysgatfydd i'r rhai tyner galon hynny, trwy eu galar a'u dagrau, wanhau y rhai oedd ag ynddynt fwy o wrolder. Felly ni roddodd heibio eu cynghori hwynt; ond a gyffrodd ei hun; a chan goffa rhesymmau perthynasol i chwanegu eu calondid cymmerodd arno lefaru yn fwy bywiog a difrifol wrthynt, a hynny mewn perthynas i anfarwoldeb yr enaid. Felly fe ddwys ruddfanodd: a chan sefydlu ei olwg yn graff ar y rhai oedd yn galaru, fe lefarodd y modd hwn: "Diau im' gamgymmeryd yn fawr, pan feddyliais fod yn gynnorthwy i ddynion gwrol, y rhai a ymdrechasant yn galed am eu rhyddid; a'r cyfryw ag oedd wedi ymroddi i fyw gyd ag anrhydedd, neu ynte farw. Ond mi welaf nad ydych bobl rhagorach nag eraill mewn rhinwedd na gwrolder; a'ch bod yn ofni marw, er y rhyddheid chwi trwy hynny oddi wrth y trueni mwyaf: pan na ddylech wneuthur dim oed yn y mater hwn nac ymgynghori â neb pa fodd i ymddwyn. Canys cyfreithiau ein gwlad, a Duw ei hun, er yr hen amseroedd, a chyn gynted ag y gallasom ni arfer ein rheswm, a ddysgodd yn wastadol i ni, a'n teidiau a gadarnhaodd yr un athrawiaeth trwy eu gweithredoedd, a gwroldeb eu meddyliau,

mai bywyd sydd yn dwyn trueni ar ddynion, ac nid marwolaeth: canys y diweddaf sydd yn rhyddhau ein heneidiau, ac yn eu danfon trwy eu symmudiad i'w lle eu hunain o burdeb; lle y maent i fod heb deimlad o un math o drueni. Canys tra mae eneidiau yn rhwym wrth eu cyrph marwol, y maent yn gyfrannogion o'u blinderau; ac i ddywedyd y gwir, y maent eu hunain yn feirwon. Canys undeb y peth sydd ddwyfol â'r hyn sydd farwol a bâr anghysonedd. Mae'n wir fod galluoedd yr enaid yn fawr, ïe tra mae yn cael ei garcharu mewn corph marwol. Canys trwy ei symudiadau mewn modd anweledig, y mae'n gwneuthur y corph yn offeryn teimladol, ac yn peri iddo fyned rhagddo yn ei weithrediadau yn amgen nâ'r hyn a allai natur farwol ei gyflawni heb hynny. Pa fodd bynnag, pan ryddheir ef oddi wrth y pwysau hynny ag sydd yn ei dynnu i lawr at y ddaear, trwy gyd-gyssylltiad ag ef, y mae yn meddiannu ei le priodol ei hun, ac yna yn cyfrannogi o'r addasrwydd gwynfydedig a'r galluoedd y rhai ni ellir trwy un ffordd y pryd hynny eu rhwystro yn eu gweithrediadau. Y mae yn parhau yn anweledig yn wir i lygaid dynol, megis ag y mae Duw ei hun: canys ni's gwelir ef ganddo ei hun tra mae yn y corph: oblegid y mae yn trigo yno mewn modd anweledig; a phan ryddheir o hono, y mae'n aros yn anweledig fyth. Yr enaid yma sydd ag eiddo un naturiaeth, a hono yn anfarwol. Ond etto y mae'n achos o'r cyfnewid a wneir yn y corph: canys pa beth bynnag a gyffwrdd yr enaid ag ef, y mae yn byw ac yn blodeuo; ac oddi wrth pa beth bynnag y mae yn cael ei symmud, hwnnw sydd yn diflannu ymaith ac yn marw. Y fath radd a hynny sydd ynddo o anfarwoldeb.

Crybwyllaf y cyflwr neu amgylchiad o gwsg, fel tystiolaeth eglur o wirionedd y peth yr wyf yn ei ddywedyd; ym mha un y mae eneidiau, pan na flinir hwynt gan eu cyrph, yn cael gorphwysdra hyfrydaf mewn hunan-ymddibyniad, a chyfeillach â Duw, trwy eu perthynas ag ef. Yna yr ymddangosant ymhob lle, ac y rhagfynegant lawer o bethau i ddyfod ymlaen llaw. A pha ham yr ydym ni yn ofni marwolaeth, tra mae mor hyfryd gennym yr orphwysfa a fwynhawn mewn cwsg? A pha fath beth ffol yw erlid ar ol rhyddid tra'r ydym yn fyw, ac etto ei gynfigennu i ni ein hunain lle y mae yn dragywyddol! Nyni gan hynny y rhai a ddygwyd i fynu tan ein disgybliaeth ein hunain, a ddylem ddangos esiampl i eraill o'n parodrwydd i farw. Etto os ydym yn sefyll mewn angen o ddieithriaid i'n cynnorthwyo yn yr achos hwn, craffwn ar yr Indiaid hynny ag sydd yn proffesu ymarferiad o philosophyddiaeth. Canys y dynion da hynny nid ydynt ond yn anewyllysgar yn treulio amser bywyd; gan ei olygu fel gwasanaeth a osodir arnynt o orfod; ac a wnant frys i ollwng eu heneidiau yn rhydd o'u cyrph. Ië, pan na bo un anhap yn eu gwasgu iddo, nac yn eu gyrru at hynny, y fath ddymuniad sydd ganddynt hwy i fywyd o anfarwoldeb, fel y dywedant i eraill ymlaen llaw eu bod ynghylch gwneud ymadawiad. Ac ni rwystra neb hwynt; ond pawb a'u golyga yn ddynion dedwydd; ac a gyfleant lythyrau gydâ hwynt, i'w dwyn at eu cyfeillion a fyddo wedi marw: mor gadarn a sicr y maent yn credu fod eneidiau yn cyfeillachu â'u gilydd mewn byd arall. Felly wedi i'r dynion hynny wrando'r holl orchymmynion ag ydoedd i'w rhoddi iddynt, y maent yn traddodi eu hunain i'w llosgi: ac mewn trefn i'w heneidiau gael ymadawiad o'u cyrph yn y purdeb mwyaf, y maent yn marw ynghanol hymnau o ganmoliaeth a wnaed iddynt. Canys arweinir hwy gan eu hanwylaf gyfeillion i'w marwolaeth, gyd â mwy parodrwydd nac y mae eraill o ddynolryw yn hebrwng eu cyd-ddinasyddion pan fyddant yn myned i daith bell. Y rhai yr un pryd a alarant o'u plegid eu hunain; ond a edrychant ar y lleill fel dynion dedwydd; megis eu bod yn cyfrannogi o radd bodau anfarwol. A ydym ni gan hynny ddim yn cywilyddio ein bod o waelach tyb na'r Indiaid; a thrwy ein digalondid i osod gwaradwydd ar gyfreithiau ein gwlad ein hunain, y rhai a chwennychir ac a ddilynir gan holl ddynolryw. Ond bwriwch ein bod wedi ein dwyn i fynu tan gred arall; a'n haddysgu mai bywyd yw'r daioni goreu a ddichon dynion fwynhau; ac mai un o'r drygau mwyaf yw marwolaeth: etto pe byddai felly, yr amgylchiad yr ydym ni yn awr ynddo a ddylai ein tueddu i oddef y fath drallod gyd â chefnogrwydd: gan mai ewyllys Duw ydyw, a'n bod ni o angenrheidrwydd i farw. Canys y mae'n awr yn ymddan-

gos ddarfod gosod y fath ddeddf gan Dduw yn erbyn yr holl genedl Iuddewig, a'n bod ni i'n hamddifadu o'r bywyd hwn, pa un efe a wyddai na wnaem iawn ddefnydd o hono. Canys na chyfrifwch yr achos o'n hamgylchiad presennol i chwi eich hunain; ac na feddyliwch mai y Rhufeiniaid yw y gwir achos o fod y Rhyfel hwn sydd rhyngom â hwynt wedi dyfod mor ddinystriol i ni. Y pethau hyn ni ddaethant o amgylch trwy eu gallu hwynt; ond rhyw achos goruwch dynol a'i parodd, ac a wnaeth i ni roddi achlysur iddynt hwy i ymddangos yn fuddugoliaethwyr arnom. Pa ryw arfau Rhufeinig, attolwg, oedd y rhai hynny, trwy ba rai y lladdwyd yr * Iuddewon o Cæsarea? Yn y gwrthwyneb, pan nad oeddynt mewn un modd yn tueddu i wrthryfel, ond a oeddynt yn y cyfamser yn cadw gwyl eu seithfed dydd, ac nad oeddynt gymmaint ag yn codi eu dwylaw yn erbyn dinasyddion Cæsarea; etto darfu i'r dinasyddion hynny redeg arnynt yn dorfeydd mawrion, gan eu torfynglu hwynt, ynghyd â'u gwragedd â'u plant; a hynny heb olygu y Rhufeiniaid; y rhai ni chymmerasant ni yn lle gelynion erioed, nes i ni ein hunain droi i'w herbyn. Ond gall fod rhai yn barod i ddywedyd, fod cweryl gwastadol gan bobl Cæsarea â'r rhai oedd yn byw yn eu mysg hwynt; a phan roddwyd cyfleusdra iddynt, hwy a gyflawnasant y llid oedd ynddynt tu ag attynt. Beth a ddywedwn gan hynny am y rhai o Scythopolis, y rhai a anturiasant i ryfel â ni ar gyfrif y Groegiaid? Ac ni wnaethant hynny mewn ffordd o ddial ar y Rhufeiniaid, pan oeddynt yn cydweithredu â'n cenedl ni. O herwydd pa ham chwi welwch mor lleied oedd ein hewyllys da a'n ffyddlondeb o fudd i ni, pan y lladdwyd hwynt, a'u holl deuluoedd, yn y dull mwyaf di-ddynol; yr hyn oll oedd yr ad-daliad a wnaethpwyd iddynt am y cynnorthwy a barasent i'r lleill. Canys yr un distryw hwnnw a ragflaenasent i syrthio ar y lleill, a ddioddefasant eu hunain oddi wrthynt; fel pe buasent barod i fod yn weithredwyr i'w herbyn. Fe fyddai yn rhy faith i mi lefaru ar yr amser hwn am bob dinystr a ddygwyd arnom. Canys ni ellwch amgen na gwybod nad oedd un o'r dinasoedd Syriaeg, na ddarfu iddynt ladd eu preswylwyr Iuddewig; ac nad oeddynt yn chwerwach gelynion i ni na'r Rhufeiniaid eu hunain. Ië, y rhai o Damascus, pryd na's gallent osod un esgus rhesymmol yn ein herbyn, a lanwasant eu dinas â'r lladdiad creulonaf o'n pobl ni; gan dorfynglu neu dorri gwythi deunaw mil o Iuddewon, gyd â'u gwragedd â'u plant. Ac am y lliaws o'r rhai a laddwyd yn yr Aipht, a hynny gyd ag arteithiau hefyd; fe hysbysir i ni eu bod yn rhagor na thrugain o filoedd. Y rhai hynny yn wir, trwy eu bod mewn gwlad ddieithr, ac heb gyfarfod â dim a wrthsafai eu gelynion, a laddwyd yn y modd a grybwyllwyd. Am y rhai o honom i gyd a ymwnaethant i ryfela â'r Rhufeiniaid yn ein gwlad ein hunain; onid oedd gennym reswm digonol i'n gobaith sicr o fuddugoliaeth? Canys yr oedd gennym arfau, muriau, ac amddiffynfeydd wedi eu parottoi yn y fath fodd na's gellid yn hawdd eu cymmeryd; a chefnogrwydd na syflid mo hono gan unrhyw berygl yn achos rhyddid, yr hyn a barodd i ni oll droi oddiwrth y Rhufeiniaid. Ond yna y manteision hyn ni buont yn ddigonol i ni ond tros ychydig amser; ac yn unig a godent ein gobaith; pan mewn gwirionedd yr ymddangosasant yn ddechreuad ein trueni. Canys yr hyn oll a feddem a gymmerwyd oddi arnom; ac a syrthiasant tan ddwylaw ein gelynion: fel pe buasai y manteision hyn yn unig i beri eu buddugoliaeth arnom yn fwy clodfawr; ac na threfnasid hwynt er diogelwch i'r rhai a wnaethent yr arlwyadau. Ac am y rhai sydd eisoes wedi meirw yn y rhyfel, y mae'n rhesymmol i ni eu cyfrif hwynt yn wynfydedig; canys hwy a fuont feirw mewn amddiffyniad, ac nid bradychiad eu rhyddid. Ond am y lliaws ag sydd yn awr tan y Rhufeiniaid, pwy na phrysurai i farw, cyn dioddef y fath drueni gyd â hwynt? Rhai o honynt a ddodwyd ar yr arteith-glwyd, ac a ddirboenwyd â thân ac â fflangellau, ac felly a fuont feirw. Rhai a hanner-ddifethwyd gan anifeiliaid gwylltion; ac yna a gedwid yn fyw i'w difetha ganddynt yr ailwaith; i'r diben i beri chwerthiniad, a difyrwch i'n gelynion. A'r cyfryw ag sydd etto yn fyw, a olygir yn rhai mwyaf truenus; pa rai yn chwenychu marw gymaint, ni allent ei gyrhaeddyd. A pha le yn awr y mae prif-ddinas, a mamddinas y genedl Iuddewig? yr hon oedd wedi ei

* Gwel Llyfr II. pen. 18.

hamddiffyn â chynnifer o furiau o'i hamgylch; a'r fath gaerau a thŷrau mawrion i'w diogelu; yr hon ni's gallai ond yn brin gynnwys nifer yr offerynnau a barottowyd i'r rhyfel ynddi; a'r hon yr oedd ganddi gynnifer miloedd o wŷr i ymladd trosti? Pa le y mae'r ddinas honno ag a dybid fod Duw ei hun yn preswylio ynddi? Y mae'n awr wedi ei dymchwelyd hyd y sylfeini; a chanddi ddim ond y gôf-golofn honno i'w hamddiffyn; fy meddwl yw gwersyllfa y rhai a'i difethodd; ag sydd etto yn sefydlog ar ei hadfeiliau. Rhai hen wŷr mewn cyflwr annedwydd a orweddant ar ludw'r deml; a rhai menywaid a gedwir yn fyw yno gan y gelyn, er chwerw gywilydd a gwaradwydd i ni. Yn awr pwy o honom wrth droi ein meddyliau at y pethau hyn, a all etto aros tan lewyrchiad yr haul, er byw o hono allan o berygl? Pwy sydd gymmaint gelyn i'w wlad, ac mor anwrol a chwannog i fywyd, ag i beidio edifarhau ei fod etto yn fyw? Ac ni fedraf fi beidio a dymuned y buasem ni oll wedi meirw, cyn gweled o honom y ddinas sanctaidd honno wedi ei hanrheithio gan ddwylaw ein gelynion; a sylfeini ein teml sanctaidd wedi eu cloddio i fynu mewn dull mor halogedig. Ond gan fod gennym y fath obaith hyderus ag oedd yn ein twyllo ni; fel pe buasem ysgatfydd yn alluog i ddial ein hunain ar ein gelynion oblegid eu gweithredoedd hynny, er ei fod yn awr wedi myned yn ofer, a'n gadael yn unig mewn cyfyngder, gwnawn frys i farw â meddyliau gwrol. Dangoswn dosturi attom ein hunain, ein plant, a'n gwragedd, tra y mae yn ein gallu ei ddangos. Canys * nyni a gawsom ein geni i farw; megis ag y cafodd hefyd y rhai a genhedlasom ni: ac nid oes gallu gan y rhai dedwyddaf o'n heppil i'w ochelyd. Ond am ammharch a chaethiwed, ar yr olwg o'n gwragedd yn cael eu harwain ymaith mewn modd amharchus gyd â'u plant, nid yw y rhai hynny yn fath ddrygau ag sydd yn angenrheidiol a naturiol ym mysg dynion. Er bod yn rhaid i'r rhai na ddewisant farw o flaen y trueni yma, pan y mae yn eu gallu ei wneuthur, fyned tan y blinderau hynny, ar gyfrif eu hunain ddigalondid. Nyni a ymwrthodasom â'r Rhufeiniaid gyd â chysgod mawr o gefnogrwydd: a phan, hyd at y diwedd, y gwahoddasom ni i arbed ein hunain, ni chydsyniasom â hwynt. Pwy na chred gan hynny y byddant yn sicr mewn cynddaredd tu ag attom yn awr os gallant ein cymmeryd yn fyw? Truenus y pryd hynny a fydd y dynion ieuaingc, y rhai a fyddant gryfion ddigon yn eu cyrph i gynnal yr arteithiau mwyaf. Truenus hefyd a fydd y rhai mewn blynyddau mwy oedranus, pa rai ni fyddant alluog i ddioddef y poenau a all gwŷr ieuaingc ymgynnal tanynt. Un a fydd yn rhwym i glywed llais ei fab yn ymbil cymmorth gan ei dad, pan fyddo ei ddwylaw yn rhwym. Ond yn sicr y mae ein dwylaw ni etto yn rhyddion, a chennym gleddyfau ynddynt; byddent hwy gan hynny yn offerynnol i ni yn ein hamcan dibenus. Byddwn feirw cyn y delom yn gaeth-weision i'n gelynion: ac awn allan o'r byd gyd â'n plant, a'n gwragedd mewn cyflwr o ryddid. Hyn sydd beth ag y mae ein cyfreithiau yn ei orchymmyn i ni wneuthur; a'r peth y mae ein gwragedd â'n plant yn ei ofyn ar ein dwylaw. Ië, Duw ei hun a ddug yr angeurheidrwydd yma arnom. Pan y mae y Rhufeiniaid yn dymuno i'r gwrthwyneb; ac yn ofni rhag marw neb o honom cyn ein cymmeryd. Bydded i ni gan hynny wneuthur brys; ac, yn lle caniattâu cymmaint o bleser iddynt hwy ag a ddisgwyliant wrth ein cael tan eu hawdurdod: gadawn iddynt siampl, yr hon ar unwaith a bar iddynt syndod wrth ein marwolaeth, a rhyfeddod oblegid ein calondid."

## PENNOD IX.

*Pobl Masada yn cael eu perswadio trwy areithiau Eleazar i ddifetha eu gilydd; o ba rai dwy o ferched, a phump o blant yn unig a adawyd yn fyw.*

YN awr fel yr oedd Eleazar yn myned rhagddo yn ei gyngor, ei wrandawyr a dorasant ar ei ymadrodd, ac a frysiasant i gyflawni'r weithred, megis yn llawn o awyddfryd anwrthwynebol, ag wedi eu cynhyrfu â chynddaredd gwallgofiaid. Felly hwy a aethant i'w ffordd, megis ag ymdrech ynddynt i flaenori ár eu gilydd; a chan feddwl y byddai i'w parodrwydd hwn fod yn amlygrwydd o'u calondid, a'u daionus ymddygiad, os galient ochelyd ymddangos o nifer

*Reland a esyd i lawr yma yma frodd gogyfartal o eiddo un o'r Rabbiniaid Iuddewig, "Nyni a anwyd fel y byddem feirw; ac a fyddwn farw i gael byw.

y rhai olaf: mor fawr oedd y sel a'u meddianodd tu ag at ladd eu gwragedd, a'u plant, a'u hunain hefyd. Ac yn wir wedi dyfod at y gwaith ei hun, ni chiliodd eu cefnogrwydd, fel y gellid disgwyl iddo wneuthur: ond hwy a barhasant â'r un ymroad diysgog, ac a dderbyniasent ar wrandawiad araith Eleazar; tra'r oedd etto bob un o honynt yn meddiannu tymmer naturiol o gariad attynt eu hunain, a'u teuluoedd: o herwydd fod y rhesymmau a'u gosodasai i fyned yngbylch y weithred yn ymddangos iddynt hwy yn beth tra chyfiawn, byd yn oed ymherthynas i'r rhai anwylaf ganddynt. Canys y gwŷr gyd â charedigrwydd o gofleidiasant eu gwragedd, ac a gymmerasant eu plant yn eu breichiau, gyd â hir gusanau o ymadawiad, a dagrau yn eu llygaid. Etto ar yr un pryd hwy a gyflawnasant yr hyn a fwriadasent; fel pe buasent yn cael eu dihenyddio gan ddieithriaid. Ac nid oedd ganddynt ddim arall er cyssur iddynt, ond yr angenrheidrwydd ag oeddynt ynddo i wneuthur y dihenyddiad yma, i ochelyd y dioddefiadau a ddisgwyliasant oddi wrth eu gelynion. Ac ni chafwyd yno o'r diwedd neb o'r dynion a rusent wneud eu rhan yn y dihenyddiad ofnadwy yma, ond pob un o honynt a orphenodd eu hanwylaf berthynasau. Truenus ddynion yn wir oeddynt! y rhai yr oedd eu cyfyngder yn gwneud iddynt ladd eu gwragedd, a'u plant, â'u dwylaw eu hunain, fel y peth lleiaf o'r drygau hynny ag oedd o'u blaen. Felly â hwy heb allu cynnal y gofid yr oeddynt tano yn hwy oblegid y pethau a wnaethent; a chan ei gyfrif o niweid i'r rhai a laddasent i fyw y mesur lleiaf o amser ar eu hol, gosodasant yn uniongyrch yr hyn oll a feddent yn bentyrrau ar eu gilydd, a dodasant hwy ar dân. Yna y dewisasant ddeg o ddynion allan o honynt wrth goelbren, y rhai a laddai y lleill oll. Pob un o honynt a orweddai i lawr wrth ochr ei wraig a'i blant ar y ddaear, ac a ledai ei freichiau am danynt, a hwy a osodasant eu gyddfau yn barod i darawiad y rhai wrth goelbren a gyflawnent y gorchwyl athrist. Ac wedi i'r deg hynny, yn ddiarswyd, eu lladd hwynt oll, cymmerasant yr un rheol o fwrw coel brennau trostynt eu hunain; mewn trefn i'r sawl y denai'r coelbren i'w ran yn gyntaf ladd y naw eraill, ac ar ol y cwbl ei ladd ei hun. Yn ganlynol y rhai hyn oedd â chalondid digonol ganddynt, y naill fel y llall, i beidio bod yn ol o wneuthur neu ddioddef yn ogymmaint. Felly, i ddiweddu, y naw a osodasant eu gyddfau i'r dihenyddwr. Ac efe yr hwn oedd yr olaf o'r cwbl, a gymmerodd olwg ar y cyrph meirwon eraill, rhag, ysgatfydd, fod rhyw rai neu gilydd ym mhlith cynnifer yn sefyll mewn diffyg o'i gynnorthwy i'w gorphen hwynt: ac wedi iddo ganfod eu bod oll yn feirw, gosododd y palas brenhinol ar dân; a chyd â grym mawr rhedodd ei hun trwodd â'r cleddyf oedd yn ei law, ac a syrthiodd i lawr yn farw yn ymyl ei berthynasau ei hun. Felly y bobl yma a fuont feirw gyd â'r amcan hwn, na adawent un enaid yn eu plith i fod yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid. Etto'r ydoedd gwraig o fawr henafiaeth; ac un arall oedd gares i Eleazar, yr hon a ragorai ar y rhan fwyaf o ferched mewn pwyll a dysgeidiaeth, gyd â phump o blant, y rhai a ymguddiasent mewn ogofeudd tan y ddaear; gan fyned â dwfr yno i'w disychedu; lle yr ymguddiasant tra'r oedd y lleill yn prysur ladd eu gilydd. Y rhai hynny oeddynt naw cant, a thrugain mewn rhifedi; ym mha nifer y cyfrifwysir gwragedd a phlant. Y laddfa echrydus hon a wnaethpwyd ar y pymthegfed dydd o'r mis Xanthicus neu Nisan.*

Yn awr y Rhufeiniaid a'u disgwyliasant i ymladd â hwynt yn y bore. Yn ganlynol hwy a wisgasant eu harfogaeth; ac a osodasant bynt o fyrddau ar eu hysgolion oddiwrth eu gwrthglawdd, i wneud ymosodiad ar eu hamddiffynfa. Ond ni chanfuant neb fel gelynion, eithr rhyw anghyfanedd-dra dychrynllyd, a thân o fewn i'r lle, gyd â pherffaith ddistawrwydd. Felly ni fedrent ddyfalu pa beth a ddigwyddasai. O'r diwedd hwy a wnaethant floedd, megis ar darawiad un o'r peiriant dyrnodiol, i brofi a allent wneuthur i neb oedd o fewn i'r lle ymddangos. Y gwragedd a glybuant y sŵn hwn, ac a ddaethant i fynu o'r tyllau tan y ddaear; gan wneud y Rhufeiniaid yn hysbys o'r peth a ddigwyddodd: a'r ail o honynt a ddecrifiodd yn eglur y cwbl o'r hyn a wnaethid, a'r moddion o hono. Etto ni roesant ddyfal wrandawiad i'w hadroddiad o'u hymddygiad gorphwyllog; ac ni chredent y gallai fod yn ol eu geiriau hi. Hwy hefyd a ymdrechasant i

* B. A. 73.

ddiffodd y tân: a chan dorri eu ffordd yn gyflym trwyddo, hwy a ddaethant y tu fewn i'r palas, ac felly a gyfarfuant â lliaws y rhai lladdedig: ond ni allent gymmeryd dim hyfrydwch oddiwrth y weithred, er ei chyflawni ar eu gelynion. Ac ni allasant wneuthur yn amgen na rhyfeddu wrth gefnogrwydd eu hymröadau, a'u diystyrwch diysgog o farwolaeth; yr hyn a ddangosasai nifer mor fawr o honynt, pan anturient arfer y fath gyflafan neu ddistryw arnynt eu hunain.

## PENNOD X.

*Am ffoedigaeth y Sicarii i Alexandria; a dinystr y deml, yr hon gynt a adeiladwyd gan Onias yr Archoffeiriad.*

WEDI i Masada y modd hwn gael ei chymmeryd, y penciwdawd a osododd wersyll yn yr amddiffynfa i'w chadw hi; ac efe ei hun a aeth ymaith i Cæsarea. Canys nid oedd yn awr ddim gelynion wedi eu gadael yn y wlad; ond yr oeddynt oll wedi eu dadymchwel trwy ryfel mor faith. Etto darfu i'r rhyfel hwn beri aflonyddwch a therfysgoedd peryglus mewn lleoedd tra phellennig o Judea: ac fe ddigwyddodd yn ol hyn i lawer o Iuddewon gael eu lladd yn Alexandria, yn yr Aipht. Canys cynnifer o'r Sicarii ag a allasant ffoi yno, allan o'r rhyfel ymbleidgar yn Judea, ni foddlonent ar achub eu hunain, ond rhaid oedd iddynt godi terfysgoedd newyddion; a pherswadiasant lawer o'r rhai a'u derbyniai i honni eu rhyddid; i gyfrif y Rhufeiniaid yn ddim gwell na hwy eu hunain; ac i olygu Duw fel eu hunig arglwydd a'u llywodraethwr. Ond wedi i rai o'r Iuddewon mwyaf parchus eu gwrthwynebu, hwy a laddasant rai o honynt; ac a gyngorasant y lleill gyd â thaerineb mawr i droi oddi wrth y Rhufeiniaid. Ond pan welodd pennaethiaid y senedd i ba ryw wallgof y cyraeddasent, ni thybiasant yn hwy ei fod yn ddiogelwch iddynt eu goddef i fyned ym mlaen. Felly hwy a gynnullasant yr Iuddewon ynghyd yn un dyrfa, gan achwyn ar ryfyg y Sicarii; ac amlygu mai hwynt-hwy a fuasai awdwyr yr holl ddrygau a ddaethai arnynt. Dywedasant hefyd, "Mai'r dynion hynny, wedi diangc ymaith o Judea, heb gandddynt ddim gobaith sicr o waredigaeth; oblegid cyn gynted ag yr adnabyddir hwynt, fe'u difethir yn fuan gan y Rhufeiniaid: y maent wedi dyfod yma, ac yn ein llenwi â'r blinderau a berthynant iddynt hwy, pryd na buom ni yn gyfrannogion â hwynt yn eu pechodau." Yn ganlynol hwy a gynghorasant y lliaws i ochelyd eu dwyn i ddinystr trwy'r moddion o honynt hwy; ac i wneud esgusodiad wrth y Rhufeiniaid am yr hyn a wnaethid, trwy draddodi y dynion hyn iddynt hwy. Yn ganlynol, wedi eu gwneuthur fel hyn yn ddealladwy o'r mawr berygl yr oeddynt ynddo, hwy a gydsyniasant â'r hyn a amcanasid; ac a ruthrasant yn drachwyrn ar y Sicarii, gan oresgyn chwe chant o honynt yn uniongyrch: ond am y rhai oll a ffoesant i'r* Aipht, a Thebes yn y wlad hono, nid hir y bu nes eu dal hwythau hefyd, a'u dwyn yn ol. Yn awr calondid y dynion hyn, neu'r peth a ddylem ei alw yn wallgofrwydd, neu galedwch yn eu dychymmygion, a barodd syndod cyffredinol. Canys wedi i bob math o boenau ac arteithiau corphorol gael eu harfer tu ag attynt, ni ellid cael gan un o honynt gydsynio mor bell, ag addef Cæsar yn arglwydd arnynt: ond hwy a barhasant yn eu hopiniwnau, er gwaethaf yr holl boenydiau a osodid arnynt; fel pe buasent yn cyfarfod â'r arteithiau hynny, ac â'r tân ei hun, â chyrph annheimladwy o boen, a chyd ag enaid oedd, mewn rhyw ddull, yn gorfoleddu tanynt. Ond yr hyn oedd fwyaf oll yn rhyfeddod gan edrychwyr, ydoedd gweled ystyfnigrwydd y plant. Canys ni ellid gwneud i un o honynt hwy gymmaint ag enwi Cæsar fel eu harglwydd. Mor bell y mae grym a chefnogrwydd yr enaid yn rhagori ar wendid y corph.

Yn awr Lupus, llywiawdwr Alexandria, a ddanfonodd hanes am y terfysg hwn at Cæsar; yr hwn ag efe yn dychymmyg am dueddiad anesmwyth yr Iuddewon i wrthryfela, ac yn ofni rhag eu dyfod ynghyd drachefn, a pherswadio rhyw rai eraill i uno â hwynt; rhoddodd orchymmyn i Lupus i ddadymchwel y † deml Iuddewig ag ydoedd yn yr ardal a elwid

* Gan fod Josephus yn hyspysu i ni yma, ddarfod i rai o'r Sicarii neu yspeilwyr fyned o Alexandria, (yr hon oedd yn yr Aipht ei hun, yn yr ystyr helaethaf) i'r Aipht, a Thebes, oedd yn gorwedd yno; y mae Reland yn iawn sylwi, allan o Vossius, fod yr Aipht weithiau yn arwyddo, yr Aipht uchaf, megis yn wahanol oddiwrth Delta, a'r parthau isaf yn agos i Palestina. Yn ganlynol, fel y chwanega ef, nad yw un amser yn gwlawio yn yr Aipht, a raid eu bod yn meddwl yr Aipht uchaf; o herwydd ei bod yn gwlawio weithiau yn y parthau isaf. Gwelwch y nodau ar Hynaf. II. 7. a'r III. 1.

† Am y deml hon o adeiladaeth Onias yn yr Aipht, gwelwch y nodau ar Hynaf. XIII. 3. Ond fel ag y dywedir mewn lleoedd eraill, yn Hanes y Rhyfel I. 1. ac yn yr Hynafiaethau yn awr a goffawyd, fod y

Onion, yn yr Aipht: yr hon a adeiladasid, ac a gawsai ei henw oddi wrth yr achos canlynol. Onias, mab Simon, un o'r archoffeiriaid Iuddewig a ffodd rhag Antiochus, brenin Syria, pan wnaeth ryfel â'r Iuddewon, ac y daeth i Alexandria. Ac fel y derbyniwyd ef yn dra charedig gan Ptolemy, ar gyfrif ei gasineb at Antiochus, fe sicrhaodd iddo, os cydsyniai â'i ofyniaid ef y dygai yr holl Iuddewon yn gynnorthwy iddo. A phan gyttunodd y brenin i'w wneuthur mor beil ag yr oedd yn ei allu; fe ddymunodd gael cennad i adeiladu teml mewn rhyw le yn yr Aipht, ac i addoli Duw yn ol defodau ei wlad ei hun. Oblegid y byddai'r Iuddewon o gymmaint a hynny yn barottach i ymladd yn erbyn Antiochus, yr hwn a ddifrododd y deml yn Jerusalem; ac y deuent y pryd hynny atto ef gyd â mwy o ewyllys da; ac mai wrth ganiattau iddynt ryddid cydwybod, y byddai i lawer o honynt ddyfod trosodd atto ef.

Felly Ptolemy a gydsyniodd â'i ofyniad; ac a roddodd † le iddo yn y pellder o un cant a phedwar ugain o 'stadau oddi wrth Memphis. Yr ardal honno a elwid ardal Heliopolis, ym mha le yr adeiladodd Onias amddiffynfa, a theml; nid un o gyffelybrwydd i'r hon oedd yn Jerusalem; ond a ydoedd yn tebygoli i dŵr. Fe'i hadeiladodd o feini mawrion i'r uwchder o ‡ drugain cufydd. Fe wnaeth adail yr allor yr un ddull a hono yn ein gwlad ein hunain; wedi ei haddurno yn gyffelyb â rhoddion, oddigerth canwyllbren. Canys ni wnaeth ganwyllbren ynddi; ond y lle ydoedd ag iddo un llusern wedi ei morthwylio allan o ddernyn o aur, yr hon a oleuodd y deml â'i disgleirdeb; ac ydoedd yn grogadwy wrth gadwyn o aur. Ond yr holl deml a amgylchid â mur o bridd-feini, er gwneud y pyrth o gerrig-nâdd. Y brenin hefyd a roddodd wlad helaeth iddo, fel y derbyniai deyrnged oddi wrthi yn arian: ac fel y darparid cynhaliaeth ddigonol i'r offeiriaid, ac y byddai i helaethrwydd o bethau angenrheidiol gael eu dwyn at wasanaeth Duw. Etto ni ddarfu i Onias gyflawni hyn oddiar duedd rwydd difrifol. Ond yr oedd dymuniad ganddo i ymryson â'r Iuddewon yn Jerusalem; ac ni fedrai anghofio ei ddigter tu ag at ei alltudiad oddi yno. Yn ganlynol fe dybiodd, wrth adeiladu y deml hon, y tynnai lawer oddi wrthynt atto ei hun. Yr ydoedd hefyd ragfynegiad hynafiaethol wedi ei ddatgan gan brophwyd, yr hwn a elwid Esaiah, ynghylch chwe chant o flynyddau o'r blaen, y byddai i'r deml hon gael ei hadeiladu gan wr o Iuddew yn yr Aipht. A hyn yw'r hanes am adeilad y deml honno.

Yn awr Lupus, llywodraethwr Alexandria, ar dderbyniad § llythyr Cæsar, a ddaeth at y deml ac a ddug allan rai o'r anrhegion a gyssegrasid ynddi, a chauodd i fynu y deml ei hun. Ac fel y bu farw Lupus ychydig ar ol hynny, Paulinus a'i dilynodd yn llywodraethwr. Y gwr hwn ni adawodd ddim o'r rhoddion yno; ac a fygythiodd yr offeiriaid yn llym os na ddygent hwy i gyd allan. Ac ni chaniattâi i neb oedd â dymuniad ganddynt i addoli Duw yno, gymmaint a dyfod yn agos i'r lle. Ond wedi cauad i fynu y pyrth, fe'i gwnaeth yn hollol annehaol i'r rhai a ddeuent yno i addoli: yn gymmaint nad oedd yn aros mwyach yn y lle hwnnw gymmaint â'r arwydd leiaf o ddwyfol addoliad. Yn awr parhad yr amser o adeiladaeth y deml hon, hyd oni chauwyd i fynu drachefn, ydoedd ‖ dri chant a thair a deugain o flynyddau.

## PENNOD XI.

*Ymherthynas i Jonathan, un o'r Sicariiaid, yr hwn a gyfododd derfysg yn Cyrene; ac ydoedd yn gau-gyhuddwr y rhai dieuog.*

YN awr y darfu i gynddaredd y Sicarii, yn debyg i bla, gyrraedd cyn belled a dinasoedd Cyrene. Canys un Jonathan, dyn drigionus, ac wrth ei grefft yn wehydd, a ddaeth yno; ac a berswadiodd nid ychydig nifer o'r fath dlottaf i wrando arno ef. Efe hefyd a'u harweiniodd i'r diffeithwch, trwy addaw dangos iddynt arwyddion a gweledigaethau. Ac am yr Iuddewon eraill o Cyrene, fe guddiodd ei anonestrwydd oddi wrthynt, ac a'u twyllodd hwynt. Ond y rhai o radd uchaf yn eu mysg a hyspysasant i Catullus, llywydd y Lybiaid, am ei fynediad

deml hon yn debyg i'r un hynny yn Jerusalem; ac yma nad ydoedd o debygoliaeth iddi, ond ar gyffelybiaeth tŵr; y mae rhyw reswm i amman y darlleniad yma: ac un a'i bod y gorair naccaol i'w ddeleu, neu'r gair hollawl gael ei chwanegu.

† Rhaid i ni sylwi fod Josephus yma yn llefaru am Antiochus, yr hwn a halogodd y deml, fel pe buasai yn awr yn fyw, pan roesid cennad i Onias gan Philometor i adeiladu ei deml: pan yn y cyfamser yr ymddengys na ddarfu yn weithredol ei hadeiladu bymtheg mlynedd ar ol hynny. Etto gan y dywedir yn yr Hynafiaethau, fyned o Onias at Philometor, XII. 9. yn amser bywyd yr Antiochus hwnnw; fe allai iddo wneud ei ddeisyfiad, ac ysgatfydd dderbyn caniattâd ganddo y pryd hwnnw; er na orphenwyd y deml yn gwbl hyd ben y pymtheg mlynedd wedi hynny.

‡ Hyn ydoedd uchder teml Zorobabel.

§ Ynghylch B. A. 75.

‖ Yn hytrach 223.

i'r diffeithwch, a'r parottöad a wnaethai i hynny. Felly fe ddanfonodd allan ar ei ol lu o wŷr meirch, a gwŷr traed, y rhai a'u gorchfygasant yn hawdd, o herwydd eu bod yn ddynion an-arfog. O'r rhai hyn llawer a syrthiodd yn yr ymladdfa; ond rhai a gymmerwyd yn fyw, ac a ddygwyd at Catullus. Am Jonathan, pen y bradwriaeth hwn, fe ffodd ymaith y pryd hynny; ond wrth chwilio am dano yn ddyfal, yr hyn a wnaethpwyd tros yr holl wlad, efe o'r diwedd a gymmerwyd. Ac wedi ei ddwyn at Catullus, fe ddyfeisiodd ffordd trwy ba un y diangodd rhag cospedigaeth ei hun, ac a roddodd achlysur i Catullus i wneuthur llawer o niweid i eraill. Canys efe yn gelwyddog a gyhuddodd y rhai cyfoethoccaf ym mysg yr Iuddewon, gan ddywedyd osod o honynt ef ar waith i gyflawni yr hyn a wnaethai.

Yn awr Catullus gyd â pharodrwydd a wnaeth dderbyniad o'r cyhuddiadau hyn, gan chwanegu llawer attynt, a bonllefain yn gyffrous; fel y gallid meddwl fod ganddo ef law hefyd y'ngorpheniad y rhyfel Iuddewig. Ond yr hyn oedd fyth yn dostach, ni roddodd nid yn unig grediniaeth ry barod i'w hanesion; ond fe ddysgodd y Sicariiaid i gam gyhuddo dynion. Dywedodd gan hynny wrth y Jonathan hwn am enwi un Alexander, yr hwn ydoedd Iuddew, â pha un y cwerylodd gynt, ac a addefodd yn gyhoeddus ei gasineb tu ag atto. Cafodd ganddo hefyd enwi ei wraig Bernice, megis un o'i gyweithas. Y ddau hyn a orchymynodd Catullus eu lladd yn y lle cyntaf. Iё, ar eu hol hwynt fe barodd i'r holl Iuddewon cyfoethog a boneddigaidd gael eu difetha, a hwy yn ddim llai o nifer na thair mil. Hyn a feddyliodd allu ei gyflawni gyd â diogelwch; o herwydd fe gymmerodd eu heiddo, ac a'u chwanegodd at deyrnged Cæsar.

A rhag i neb Iuddewon ag ydoedd yn preswylio mewn lleoedd eraill ei gyhuddo o'i ddrwg weithred, fe estynodd ei gam-achwyn ymhellach; ac a berswadiodd Jonathan, a rhai eraill a ddaliasid gyd ag ef, i ddwyn ym mlaen achwynion o gynhygiad i wrthryfela yn erbyn yr Iuddewon o eirda goreu yn Alexandria ac yn Rhufain. Un o ba rai, yn erbyn yr hwn y gosodid ei ddichell-frad gyhuddol, oedd Josephus, ysgrifenydd y llyfrau hyn. Pa fodd bynnag, y bradwriaeth hwn, a ddyfeisiwyd yn y modd yma gan Catullus, ni lwyddodd yn gyfattebol i'w obaith. Canys er dyfod o hono ei hun i Rufain, a dwyn Jonathan a'i gymdeithion gyd ag ef tan rwymau; gan feddwl na fyddai ddim holiad ymhellach gael ei wneuthur ymherthynas i'r celwyddau a ffugiwyd tan ei lywodraeth, neu trwy'r offerynoldeb o hono ef; etto fe ddrwg-dybiodd Vespasian yr achos, ac a wnaeth ymofyniad mor belled yr ydoedd yn wir. A phan ddeallodd fod y cyhuddiad a osodasid yn erbyn y'r Iuddewon yn anghyfiawn, fe'u rhyddhaodd oddi wrth y beiau a osodasid arnynt, a hynny ar gyfrif Titus ynghylch y mater, ac fe ddygodd gospedigaeth haeddiannol ar Jonathan. Canys fe'i harteithwyd yn gyntaf, ac yna fe'i llosgwyd yn fyw.

Ond am Catullus, yr oedd yr ymerawdwyr mor dyner tu ag atto, fel nad aeth tan farn ddim llymmach y pryd hwn. Etto nid hir y bu cyn iddo syrthio i gymmysg afiechyd ag oedd yn anfeddyginiaethol, ac a fu farw yn druenus. Efe nid yn unig a gystuddiwyd yn ei gorph, eithr aflonyddwch ei feddwl ydoedd lawer trymmach na'r llall arno. Canys efe a frawychwyd yn ddychrynllyd; ac a lefodd allan yn barhaus, ei fod yn gweled ysprydion y rhai a laddasai yn sefyll o'i flaen. Ar yr hyn nid oedd alluog i'w gynnwys ei hun; ond fe lammai allan o'i wely, fel pe buasai arteithiau a thân wedi eu dwyn atto ef. Yr afiechyd yma a dyfodd waeth-waeth yn wastadol; a'r fath amgnöad oedd yn ei ymysgaroedd, fel y torrasant allan o'i gorph, ac yn y cyflwr hwnnw efe a fu farw. Fel hyn y daeth yn siampl arswydus o ddwyfol Ragluniaeth; ac yn arwydd amlwg, fod Duw yn llymdost yn cospi dynion drygionus.

Yma y dodaf derfyn ar yr hanes hon: pa un a addewais gynt draddodi gyd â phob manylrwydd, i'r cyfryw ag a ewyllysient wybod, ym mha ddull y cafodd y rhyfel hwn, rhwng y Rhufeiniaid â'r Iuddewon, ei ddwyn ym mlaen. Teilyngdod y gwaith sydd raid ei adael i farn a phenderfyniad y darllenydd. Ond am ei gyttundeb â gwirionedd y pethau a ddigwyddodd, ni phetrusaf ddywedyd, a hynny gyd â hyfdra, ddarfod i mi yn unig gyfeirio at wirionedd trwy'r holl gyfansoddiad.

DIWEDD Y RHYFEL IUDDEWIG.

# PARHAD

O

# HANES YR IUDDEWON.

O

## Ddyddiau Josephus hyd yr Amser presennol:

YN CYNNWYS YSPAID

RHAGOR NAC UN MIL A SAITH CANT O FLYNYDDAU.

*O WAITH Y DIWEDDAR THOMAS BRADSHAW, D.D.*

*Sylwiadau Blaen-arweiniawl.*

NID oes un amgylchiad mwy hynod ym mysg holl ddamweiniau y bywyd cyfnewidiol hwn, na gwasgariad yr Iuddewon tros wyneb yr holl ddaear; a'u parhad yn gorph gwahanol o ddynion ym mhlith amryw genedlaethau, pobloedd, ac ieithoedd, lle y gyrrwyd hwynt. Ni rydd hanes cenedlaethau eraill i ni siampl o'r cyffelyb beth; ac yr ydym yn rhwym i olygu cyflawniad y prophwydoliaethau perthynol i'r bobl neillduedig hyn, ac ynoi gael yr achos o'u rhyfedd sefyllfa; pa un a ddangosir fel gwyrthiau parhaus a bywiol o flaen ein llygaid. Cristionogion yr oes bresennol sydd ganddynt y prawf chwanegol hwn o ddwyfoldeb a rhagoriaeth eu crefydd; nid yn unig Moses, a'r prophwydi; nid Crist yn unig, a'i apostolion; ond pob mab a merch Abraham a gyfarfyddant yn yr heolydd, a gadarnhant y dystiolaeth o fod y *Bibl yn wir*. Er eu tlodi a'u cyfyngder, a'r amrywiol drallodion i ba rai y mae'r Iuddewon presennol wedi eu darostwng,y maent yn aros yn wahanol ac yn ddidoledig, yn disgwyl am gyflawniad gweddill y brophwydoliaeth ar eu rhan; a chyflawniad y bwriadau hynny o drugaredd a gedwir iddynt, fel eppil dewisolion ac etholedigion Duw.

Pan y mae crefyddau eraill yn ymddibynnu ar lywodraeth a llwyddiant tymhorol tywysogion a gwladwriaethau; pan fyddont hwy yn blodeuo tan amddiffyniad congcwerwyr, ac yn diflannu gyd â brenhiniaethau oedd nawdd iddynt; yr Iuddewon, er eu herlid er's cyhyd o amser, ydynt etto mewn bod, a'u rhifedi, fel yr ymddengys yn aros heb leihau. Y maent yn byw, er eu herlid trwy lŷm orchymmynion brenhinoedd, ac er i ddi-rifedi gospedigaethau corphorol gael eu llunio i'w dinystriad. Yn chwanegiad at hyn, lliaws o bobl o wahanol genhedlaethau a gynhyrfwyd i'w gwrthwynebu; creulondeb pa rai a ragorodd hyd yn oed ar yr eiddo tywysogion ac arglwyddiaethau.

Brenhinoedd a'u byddinoedd; tywysogion a'u deiliaid, a gydunasant yn eu hamcan i ddi-wreiddio y bobl hyn oddi ar wyneb y ddaear; ond hwy a fethasant yn eu cynhygion; a pha mwyaf yr erlidid hwynt, cadarnaf a fu eu sefydliad; nes yn y dydd presennol y maent yn ymddangos yn mwynhau tawelwch perffaith, ac a amddiffynir gan y tywysogion, a than y llywodraethau hynny ag oedd gynt yn chwerw elyniaethol idd-

ynt: a'r gwasgaredigion truain, dirmygus, ac erledigaethus hyn, ydynt yn byw ar ol y breniniaethau unwaith a'u gwrthwynebodd, y rhai ydynt yn awr yn unig â'u henwau mewn bod.

Gwasgariad yr Iuddewon sydd gyffredinol; a phrin y mae un rhan o'r byd cyfanneddol heb rai o hiliogaeth Abraham ynddo. Y maent yn aml yn y dwyrain, ac yn enwedig yn ymerodraeth China, pa rai a feddylir eu bod yn hiliogaeth y deg llwyth, y rhai gynt a gaethgludasid. Y maent y pryd hwn yn wasgaredig tros amryw wledydd y dwyrain, tros Ewrop, a thros Affrica; a llawer o honynt yn awr sy'n cyfanneddu amrywiol barthau America. Rhai teuluoedd o gyfoethogrwydd sydd yn aros yn yr Orllewinol India; a'r cyfreithiau a luniwyd yn ddiweddar o'u plaid yn y cyfandir, a ddichon roddi trwydded iddynt i'r Cyngor Gwladwriaethol yn Ffraingc. Yr Iuddewon ydynt wedi eu taenu yn y fath fodd trwy holl rannau masnachol y byd, fel y maent wedi dyfod yn offerynau o farchnadyddiaeth rhyngddynt, ac yn gwneud i fynu y pentwr o ddynolryw ag sydd wedi eu cydglymmu mewn un cyffredinol gyngweddiad. Meddylir eu bod yn awr mor lluosog o rifedi a phan oeddynt mewn llwyddiant yng ngwlad Canaan; ac os yw'r tybiau hyn yn wir, y mae'n gadarnhad hynod o fawredd y gwyrthiau a arwyddir uchod, yn enwedig pan ystyriom y lladdfeydd echryslon a wnaethpwyd arnynt tan rai o'r ymerawdwyr Rhufeinig; yr amryw gannoedd o filoedd a ddifethwyd mewn rhyfel, a'u mynych lofruddiaeth gan y Tyrciaid a'r Cristionogion: fy meddwl yw, gan y cyfryw o'r rhai diweddaf ag sydd felly yn unig mewn enw; gan ei fod yn wrthwyneb i natur heddychol crefydd yr Iesu un amser i orthrymmu, a llawer llai ddodi i farwolaeth neb ar gyfrif ei ffydd, am yr hon y mae yn gyfrifol yn unig i'w Wneuthurwr.

Eu nifer, a'u gwasgariad, ynghyd â'u hymlyniad wrth gyfraith Moses, ydynt yn sicr ym mhlith y rhesymmau cadarnaf er cynhaliaeth y ffydd Gristionogol: o herwydd mai hwynt-hwy yw trysorfeydd yr ysgrifenadau hynny ag sy'n tueddu i'w cywilyddiad eu hunain; a hwynt-hwy i gyd ynghyd a wnant i fynu gwmmwl o dystion ag sydd yn sicrhau gwirionedd yr ysgrifenadau sanctaidd: eu gwasgariad sydd yn dodi yn daenedig y tystion hyn ym mhob rhan o'r glôb: a'u hymlyniad wrth eu crefydd sydd yn gwneud eu tystiolaeth yn anamheuol. Pe buasai holl bobl Israel yn cael dychweliad at Gristionogrwydd, nyni a benderfynasem am y prophwydoliaethau perthynol i Grist mai cyfrwys chwedlau gwneuthuredig a fuasent, ac a'u cyfrifasem mor dwyllodrus a'sgrifenadau y Sybiliaid, neu ffug-ddirgelion y Derwyddon. Ond fel mai sylwiadau cyffredinol yw y rhai hyn, awn gan hynny ym mlaen i gymmeryd golwg byr ar hanes y bobl hyn, o'r amser y cymmerwyd Jerusalem hyd yr oesoedd presennol.

*Hanes Chwanegiadol yr Iuddewon, er amser cymmeriad Jerusalem, gan Titus.*

WEDI goresgyn eu prif-ddinas, nid oedd yn aros un cysgod o awdurdod ym meddiant y bobl druenus hyn. Domitian, yr hwn oedd gybyddlyd i ormodedd, a wnaeth yr hyn a allai i'w gorthrymmu a'u beichio â threthoedd trymion. Judea a osodasid gyntaf tan deyrnged i Rufain gan Pompeius; er caniattau rhyw bethau o blaid yr Iuddewon yn ol hynny gan Julius Cæsar.

Yr Iuddewon diweddar, mewn trefn i ddyrchafu ymadawol ogoniant eu cenedl, a gymmerasant arnynt ddywedyd fod amryw ddynion dysgedig yn byw ar ol dinystriad y deml; ac yn sicr rhai addurniadau o'u gwlad a gafwyd ynghanol yr anrhaith cyffredin a ddilynodd.

Tan yr ymerawdwr Trajan, yr Iuddewon a wnaethant amryw gynhygion anwarantadwy, yn gystal ac anamserol, i wrthryfela yn erbyn ei lywodraeth. Wedi eu cyffroi gan eu rhagflaenol drallodion, hwy a arferasant yn eu tro greulondeb a barbariaeth i raddau tra ofnadwy: dechreuasant yn Cyrene, dinas o Lybia, lle y buasent yn sefydlog er's hir amser. Hwy a gawsant ryw oruchafiaeth ar yr Aiphtiaid: ond y ffoaduriaid, trwy ddiangc i Alexandria, a ddygasant gyd â hwynt syched i ymddial, ac a roddasant i farwolaeth yr holl Iuddewon oedd yno. Y rhai o Cyrene wedi cyffroi oblegid y colledion a oddefasant, a syrthiasant i gynddaredd mwyaf; a chyd agAndrea yn ben arnynt, a ddifrodasant wlad y gwastadedd, gan wneuthur galanastra ym mhlith trigolionLybia. Y ddinas

hon a ddi-boblogwyd trwy'r lladdiadau a wnaeth yr Iuddewon yn nechrau y rhyfel, yn y fath fodd ag yr oedd yr ymerawdwr tan angenrheidrwydd o ddanfon trefedigion yno, yn lle y trigolion a laddwyd.

Ni therfynodd yr annhrefn yn gwbl yma, pan y darfu i newyddion gyrhaeddyd am gythrwfl diweddar ym Mesopotamia. Difrod yr Aipht a fwriodd y llywodraeth hon i fraw a synedigaeth, fel ag yr oeddynt yn ofni y cyffelyb draflodion; ond, mewn trefn i symmud eu hofnau, Trajan a ddanfonodd Lucius Quietus gyd â byddin, yr hyn a ostegodd yr ymryson, trwy roddi i farwolaeth nifer fawr o'r Iuddewon, yr hyn a ddigalonnodd y lleill.

Yn ynys Cyprus tymmestl newydd a gyfododd. Yr Iuddewon yn yr ynys hon a ddechreuasant gyd â lladdfa dau gant a deugain mil o'r trigolion. Ni chela eu haneswyr eu hunain y weithred hon, ond a chwyddant nifer y lladdedigion yn hytrach na'u lleihau; canys hwy a ddywedant, mai wedi i sôn am derfysgoedd mewn mannau eraill gyrraedd i Gophri, hynny yw Cyprus, yr Iuddewon, y rhai ydoedd dra lluosog yn y wlad hon, a syrthiasant ar y cenhedloedd, ac a wnaethant y fath laddfa gyffredinol na adawyd un o honynt yn fyw. Yr hyn a wnaeth i Trajan ddanfon Adrian, penciwdawd ei fyddinoedd, yn eu herbyn, yr hwn a'u darostyngodd hwynt; ac ar ol hynny y Rhufeiniaid a roesant allan orchymmyn, i wahardd yr Iuddewon yn bendant i ddyfod i breswylio'r ynys hon.

Y trallodion a grybwyllir uchod a ellid eu golygu yn ddechreuad gofidiau'r Iuddewon, yr hyn o'r diwedd a gwblhawyd gan Adrian, yr hwn a'u darostyngodd i'r fath gyflwr o drueni, fel gogyfer a chyrhaeddyd moddion cyffredin o gynhaliaeth, yr oeddynt tan angenrheidrwydd i arfer y twyll o ddewiniaeth a swyn-gyfaredd, gyd â dehongliad breuddwydion. Ni raid wrth un dystiolaeth arall am hyn heblaw yr eiddo Adrian yr ymerawdwr ei hun; yr hwn a ddywed, na's gwelodd un Iuddew yn yr Aipht heb fod yn gyfareddwr neu yn arfer swynion, yr hyn a gyfrifid yn beth atgas yr amser hwnnw.

Y mae Awdwyr yn gwahaniaethu ynghylch yr achos o wrthryfel yn erbyn Adrian. Dywedant mai'r arfer yn Judea ydoedd plannu cedrwydden wrth ddrysau'r tŷau lle y genid mab ynddynt, a gosod pin-wydden ar enedigaeth merch. Y coedydd hyn a adewid i dyfu hyd amser eu priodas, ac yna hwy a dorrid i lawr i wneuthur gwely i'r cymmeiriaid priodasol. Fel ag yr oedd y dywysoges, merch Adrian, yn teithio yn Judea, ei cherbyd a dorrodd; a'i swyddogion ydoedd ganddynt yr hyfdra o dorri i lawr un o'r prennau a safai o flaen un o'r tai hyn, â'r hwn y gwellasant y cerbyd. Ond y perthynasau, a'r cymmydogion a derfysgasant, ac a laddasant osgordd neu weinyddwyr y dywysoges; yr hyn, trwy ei gythruddo yn fawr, a wnaeth i'r ymerawdwr gyfodi arfau, a darostwng cenedl mor greulon.

Dywed Crysostom, ddarfod i'r Iuddewon, y rhai yn wastad, trwy eu rhagfarn, a gadawsant at eu rheolau eu hunain, deirgwaith wneuthur cynhygiad o ail-adeiladu'r deml; ac mai eu hymdrech cyntaf i adferyd eu gwerin-lywodraeth a fu tan Adrian: ddarfod iddynt wrthryfela yn ei erbyn heb ystyried y canlyniadau; yr hwn, gyd â'u holl ddyfeision, oedd yn ammhosibl iddynt fuddugoliaethu arno: a darfod i'r tywysog hwn, wedi eu darostwng hwynt, osod i fynu ei ddelw ei hun lle y buasai Jerusalem; a chan wybod na fyddai i'r gôf-golofn yma o fuddugoliaeth barhau yn wastadol, fe orchymmynodd fod i'r ddinas arwyddo ei enw, yr hyn yn ganlynol a wnaethpwyd, gan mai yn ei enw ef y galwyd hi Ælia. Ni thraethodd Crysostom am y ddamwain hon gyd ag un radd arall o fanylrwydd: oblegid os credodd ddarfod i'r Iuddewon amcanu adferyd eu teml tan Adrian, efe a dwyllwyd, gan na wnaethant un cynhygiad tu ag at hynny; a'r antur gyntaf a gyfrifir iddynt sydd eglur gamsyniad. Yr un peth a raid ei ddywedyd am yr ail, os meddyliodd i'r Iuddewon fyned ynghylch ail-sefydlu eu gwerin-lywodraeth. Nid yw wir ddarfod iddynt hyd yn oed gynnyg ail adeiladu Jerusalem. Ymhellach Ælia a adeiladasid cyn y gwrthryfel. Ac nid aeth Jerusalem o hyd wrth enw Adrian, er ei galw felly yn amser y cyngor yn Nicea: ond Constantine wedi adeiladu temlau yn y ddinas hon, a thyfu o Gristionogrwydd yn fuddugoliaethus yno, fe'i hail-alwyd ar ei henw cyntaf Jerusalem. Eusebius, yr hwn a'i galwasai Ælia yn ei hanesiad, sydd yn wastadol yn ei

hanes o fywyd Constantine, yn ei henwi Jerusalem, pan y mae yn adrodd am yr adeiladau a gododd y tywysog hwn yno.

Dau o achosion a bennodir i'r gwrthryfel mawr tan Adrian. 1. Y tywysog hwn a waharddasai iddynt, fel Domitian a Nerfa, i enwaedu. Spartan a'i dywedodd; ac ni's gwn pa fodd y gellir gwrthod tystiolaeth awdwr ag oedd yn byw tan Dioclesian. Modestinus sydd yn sylwi hefyd, ddarfod i'r Iuddewon, wrth osod eu hachos o flaen Antonius, gael cennad i enwaedu yn unig ar eu plant eu hunain; gan eu gwahardd i'w wneuthur ar neb o un grefydd arall tan berygl o gospedigaethau trymion. Yn ail, Y mae cyfraith yn gwahardd yr holl ddinasyddion Rhufeinig i enwaedu megis yr Iuddewon; neu beri enwaedu ar eu caeth-weision, tan y gosp o alltudiad, a bwgwth marwolaeth i'r meddygon a'i cyflawnai. Y mae hefyd yn alltudio, ac yn euog-farnu weithiau i farwolaeth y cyfryw o'r Iuddewon a dorrant flaengroen plant o grefydd arall. A gynhygiodd yr Iuddewon enwaedu dieithriaid, mewn trefn i chwanegu eu nifer, trwy'r hyn y gallent fyned ym mlaen ar ol hynny yn fwy effeithiol i adferyd eu gwerin-lywodraeth, fel y dywedodd Crysostom? Rhai gwŷr cyfrifol a'i dywedasant ar ei ol ef. Ond nid yw debygol y gallai dinasyddion Rhufeinig a enwaedid arnynt, neu eu caeth-weision, wneud i fynu fyddin liosog tu ag at adferyd eu llywodraeth. Ni fu y proselytiaid Rhufeinig erioed mor lliosog ag i gael eu meddiannu â'r tŷb hwn.

Y deddfau hyn a gyhoeddwyd yn unig i ragflaenu cyfnewidiau mewn crefydd, yr hyn yn awr a phryd arall a ddigwyddai yn Rhufain, er blinder i'r cenhedloedd. Heblaw hyn, Antonius a gennadodd iddynt enwaedu eu hunain ar ol i'w rhyfel â hwynt fyned trosodd. Y tywysog hwn wedi blino ar eu gwrthryfel, ac yn gweled fod gommeddiad o'r ddefod hon yn eu cyffroi i ddigter ac anfoddlonrwydd, a roddodd ryddid iddynt i'w harferyd, fel rhyw beth i'w llonyddu: ond nid oeddynt y pryd hyny mewn amgylchiad i broselytio nifer ddigonol i ffurfio byddinoedd, ac adferyd eu gwerin-lywodraeth. Adrian, yr hwn a waharddasai iddynt edwaedu, a dramgwyddodd yr Iuddewon yn un o gyflawniadau pennaf eu crefydd. Eu henwaediad ydoedd o sel y cyfammod, y nod ag oedd yn eu gwahaniaethu oddiwrth y cenhedloedd; a gras Duw, yr hwn a feddylient hwy oedd yn gyssylltedig â'r ordinhad yma. Ac o herwydd hynny nid rhyfedd iddynt wrthryfela, pan welsant eu hunain wedi eu hymddifadu o arferiad y ddefod hon, pa un yr oeddynt gymmaint eu sel trosti.

Adrian hefyd a ddanfonodd drefedigion i Jerusalem, ac a adeiladodd ddinas ar ei hadfeiliau, i'r hon y rhoddodd ei enw ei hun, ac a'i cyssegrodd i Jupiter Capitolinus. Yr ail achos o'r rhyfel a ddadleuir i'w erbyn gymmaint a'r cyntaf, gan fod Eusebius yn dywedyd, na ddanfonwyd y trefedigion i Jerusalem nes ar ol cymmeryd Bither. Ond Dion a ddywed, mai'r drefedigaeth oedd yr achos o'u gwrthryfel, o herwydd na allent oddef dieithriaid i ddyfod i wladychu yn eu dinas eu hunain, ac addoli gau-dduwiau yno; felly ni allwn ammeu gwirionedd y weithred. I gymmodi Eusebius a Dion, fe ymddengys i amcan cyntaf yr ymerawdwr gael ei groesi gan wrthryfel yr Iuddewon cyn ei gyflawni, o herwydd i'r Iuddewon yrru allan y trigolion newyddion; er darfod i'r ymerawdwr ei gwblhau yn ol iddo eu darostwng hwynt. Felly fe ddanfonasai y trefedigion cyn y rhyfel, megis y sicrhâ Dion; ac fe orphennodd ei amcan, wedi gostegu'r gwrthryfel, fel yr adroddir gan Eusebius. Awyddfryd Barchochebas, yr hwn a wyddai pa fodd i wneuthur mantais o'r terfysg a greodd y ddau amgylchiad ym meddyliau'r bobl, a barodd i'r genedl benderfynu myned â'r rhyfel ym mlaen. Ond i lefaru am y gau Fessïaid a dwyllodd eu cenedl. Yr amser a ddaethai, ym mha un yr ymddangosodd twyllwyr gyd â hyfder mawr. Gamaliel a welsai ddau o honynt wedi eu difetha, ac a gynhyrfwyd gymmaint ag aflwydd eu hanturiaeth, fel na fynnai wrthwynebu Cristionogrwydd, gan ddarfod ei berswadio y byddai i Ragluniaeth ddwyn yr amcan i ddiddymdra, os nad ydoedd o'r nefoedd. "Theudas," eb efe, "cyn y dyddiau hyn a gyfododd, yr hwn a laddwyd; a hwy oll, cynnifer ag a ufuddhasant iddo, a ddifethwyd. Ar ei ol ef y cyfododd Judas o Galilea, yn nyddiau'r dreth, ac efe hefyd a ddarfu am dano: ac yn awr dywedaf wrthych, Os o ddynion y mae'r cyngor hwn fe'i diddymmir." Y Cristion-

ogion, oddi ar ystyriaeth o'i fawr gymmedroldeb a'i dduwioldeb, ar ol hynny a'i gwnaethant yn sant. St. Luc, yn y 5ed bennod o'r Actau, sydd yn llefaru yn neillduol am y twyllwyr Theudas a Judas o Galilea, y rhai y mae Gamaliel, yn ei grybwyll wrth y bobl, megis wedi arfer gynt eu celfyddyd o dwyllo; oddiwrth yr hyn (er mai ei amcan ydoedd gwanhau athrawiaeth yr apostol) y mae'n amlwg i'r cyfryw dwyll gael ei arferyd. Ond y Rhufeiniaid a ddanfonasant rai lluoedd yn erbyn Judas, ac efe yn druenus a ddifethwyd. Alexander, yr hwn a ddaeth ar ol Fadus, a erlidiodd ei blant, ac a barodd eu lladd hwynt. Ei ganlynwyr a gynnaliasant ddaliadau eu hathraw gydâ hyder ansigledig, ynghanol yr arteithiau creulonaf. Buont fyw, er cymmaint o drais a wnaethpwyd iddynt ar ol cymmeryd Jerusalem, mewn castell o hynafiaeth mawr, l'e'r oeddynt wedi eu cau i fynu; a'r ffoaduriaid a ddygasant yr athrawiaeth i'r Aipht lle y parodd laddiadau newyddion.

Ar ol hynny, twyllwyr eraill a godasant i fynu, a chyd â'r un hòniad dichellgar a ymdrechasant i hudo y lliaws hygoel: ond yr un mwyaf dichell-ddrwg, hŷ, a niweidiol, oedd Coziba, neu Barchochebas. Efe ydoedd yspeilydd, fel eraill o honynt, yr hwn a obeithiodd gyfoethogi ei hun ag yspail, a chyrhaeddyd rhyw awdurdod yn ei genedl trwy ei ysgelerder yn erbyn y Rhufeiniaid. Dywed rhai fod dau o dwyllwyr o'r enw hwn, taid ac ŵyr; a'u hanes a adroddir fel hyn gan yr Iuddewon.---- "Coziba I. a etholwyd yn frenin gan yr Iuddewon ddwy flynedd ar ol dinystr y deml, ac a fu farw yn Bither, dinas ynghymmydogaeth Jerusalem, yr hon oedd brif-ddinas ei ymerodraeth. Ei fab a'i dilynodd; ac ar ol hynny y teyrnasodd ei ŵyr Romulus, yr hwn a elwid Coziba. Yr Iuddewon a ymgrynhoisant yn ei gylch ef, ac a'i galwasant eu Messïa. Yr ymerawdwr Adrian wedi cael hyspysrwydd o hono, a ddaeth gyd â byddin lïosog, gan gymmeryd Bither, a difetha lliaws o'r Iuddewon yn y drydydd flwyddyn ar ddeg a thrugain ar ol dinystr y deml." Oddi yma y cesglir, i deyrnasiad y ddau Coziba barhau un mlynedd ar hugain. Rhai a'i hestynant lawer ymhellach, ac a wnant deyrnasiad y Coziba cyntaf i fod tan Domitian. Cronicl hynafiaethol yr Iuddewon, i'r gwrthwyneb, a gyfrifant yn unig ddwy flynedd a hanner i deyrnasiad Coziba.

Rhai gyd ag anghymmwysder a feddyliasant fod dau dwyllwr o'r enw Coziba neu Barchochebas. Ni addef y rhan fwyaf o'r Iuddewon ond un, a hwy sydd ar yr iawn. Canys yr hwn a ddenodd yr Iuddewon i wrthryfel tu a diwedd teyrnasiad Trajan, ni enwid Barchochebas, ond Andrea. Ac ni alwodd efe ei hun yn Fessïa; ar gwrthryfel hwn oedd hefyd yn yr Aipht, ond yr eiddo Barchochebas yn Judea. Yr oeddynt yn adnabyddus o achau Trajan, gan eu bod yn dywedyd, ddanfon o hono Adrian, fab ei chwaer, yn erbyn yr Iuddewon yn yr Aipht; canys Ulpia, nain Adrian, ydoedd fodryb Trajan; a'r ddau dywysog hyn ydoedd yn unig yn gefnderau. Y maent hwy yn cyfeiliorni ag sy'n gwneud y rhyfel a Coziba i barhau cyhyd o amser; ac yn pennodi iddo ef a'i etifeddion, deyrnasiad o un mlynedd ar hugain; canys ei heppil a ddarfuant gyd ag ef, a'r rhyfel a derfynodd mewn ychydig amser, fel y cawn weled yn y canlyniad. Y maent yn cyfrif ei ddifetha yn y drydydd flwyddyn ar ddeg a thrugain o ddinystriad y deml. Adrian oedd eisoes wedi marw, yn y flwyddyn 141, a'r ddinas Bither, â'r hon y diweddwyd y rhyfel, a gymmerasid yn y ddeunawfed o Adrian. Y cyfeiliorni amseryddol hwn a wasanaetha i ddangos y camosodiad o'r lleill. Y mae awdwr cronicl yr Iuddewon yn gywirach na'i ddeonglwyr; canys efe a wna i Coziba deyrnasu ddwy flynedd a hanner, ac heb sôn ond am un twyllwr. Rhaid yw, gan hynny, i ni addef yn unig un Coziba, yr hwn a gymmerodd y titl o Barchochebas, yn byw tan deyrnasiad Adrian, ac a fu yn wreiddyn aneirif ddrygau i'r genedl hon. Y twyllwr yma, i rwyddhau llwyddiant ei anturiaeth, a gyfnewidiodd ei enw, ac a gymmerodd arno yr un hynny o Fab y Seren, neu Barchochebas, mewn trefn i beri credu mai efe oedd y Seren a "welodd Balaam o bell." Cyhoeddodd mai un o ser y nefoedd oedd efe; wedi ei anfon i gynnorthwyo'r bobl, a'u hadferu o'r gorthrymder tan ba un yr oeddynt yn gruddfan.

Barchochebas hefyd a wnaeth ddewisiad o ragflaenor, o'r un gyffelybiaeth ag ef ei hun, yr hwn oedd dra chynnorthwyol iddo yn ei fwr-

iadau hyn. Hwn ydoedd Aciba, pa un a ddywedant fod ei ddisgynfa oddiwrth Sisera, penciwdawd lluoedd Jabin, brenin Tyre, ac oddiwrth fam o Iuddewes. Efe a dreuliasai ddeugain mlynedd ar y gwastadedd, yn olygwr ar ddiadellau dinesydd goludog yn Jerusalem, a elwid Calba Chuva. Ac a merch ei feistr mewn hoffder tu ag atto, ond yn anewyllysgar i briodi bugeil-ddyn, hi a'i cynghorodd i ymroddi ei hun i astudio, neu gyrraedd dysgeidiaeth. Hwy a wnaethant briodas ddirgelaidd: ar ol hyn yr aeth Aciba, ac a fwriodd ddeuddeng mlynedd mewn prif-ysgol; ac a ddygodd yn ol gyd ag ef ddeuddeng mil o ysgolheigion. Ei wraig a'i hannogodd i ddychwel yno drachefn. Fe barhaodd yno etto ddeuddeng mlynedd yn rhagor, ac a ddug gyd ag ef ugain mil o ddisgyblion. Ei wraig a ddaeth i'w gyfarfod â'i dillad yn rhwygedig, o herwydd i'w thad, wedi ei gythruddo o herwydd ei phriodas, ei di-etifeddu: ond nid cynt y gwelodd Aciba, nag y syrthiodd wrth ei draed, gan alw yn ol ei lw, a threfnu rhan fawr o'i etifeddiaeth iddo ef. Fe barhaodd i ddysgu ac ysgrifenu llyfrau, un o ba rai oedd yn ddeonglydd dirgeledigaethau, ac a elwid Jetsirah; ond rhaid ei wahaniaethu oddiwrth yr un hynny a gyfrifir i'r Patriarch Abraham, ac sydd yn dwyn yr un enw. Yr oedd efe mor ddysgedig a rhoddi cyfrif am y llythyren leiaf o'r gyfraith. Yr ydym yn cael yn y Misnah a'r Talmud, fil o ymadroddion cyfrifedig iddo, y rhai a olygir fel cynnifer o ddosparthiadau penderfynol. Dyma'r cymmeradwyaeth a roddasant i'r dysgawdwr hwn, pa un a fu yn achos o anghyfannedd-dra ei wlad, ac a gynhaliodd dwyll-ffuantwr. Ni ellir gan hynny roddi llawer o bwys ar yr hyn a adroddai yr Iuddewon ymherthynas i enedigaeth a marwolaeth Aciba, gan eu bod mor anwybodus am yr amser.

Pan ydoedd clod Aciba yn ei radd uchaf, a'i fod yn ben y Sanhedrim, Barchochebas a lefodd allan, "Wele'r Seren o Jacob," gan ei arddel yn rhagflaenor o hono ei hun. Y ddau dwyllwr yma yn cymmeryd rhagfarn y bobl yn fantais iddynt, y rhai oeddynt am Fessïa buddugoliaethus, yr hwn a'u gwaredai oddi tan iau y Rhufeiniaid, yr hyn a ddarfu i ddiweddar ryfel ac erledigaeth Adrian ei wneuthur beunydd yn fwy annioddefol; Barchochebas, wrth weled y bobl yn barod i'w ddilyn, a grynhodd fyddin o 200,000 o wŷr; a Bither a ddewiswyd yn drigfan iddo, ac yn brif-ddinas ei lywodraeth. Yr Iuddewon a'i galwasant Bethtar, neu Dŷ yr Yspiwyr, oblegid wedi dinystr Jerusalem, gwyliedyddion milwraidd a osodid yno, i wylio y rhai a elent i Jerusalem, ac a gyhuddid o fod yn garedig i'r Rhufeiniaid, gan ddymuno swyddau, neu werthu eu hetifeddiaethau, o'r hyn y diosgent hwynt trwy'r effaith o'r cyhuddiadau yma. Hwy hefyd ar brydiau a'u cyhuddent wrth y Rhufeiniaid, tan esgusodion eraill. Eusebius a esyd y ddinas hon ynghymmydogaeth Jerusalem; ond yr ydoedd dwy ddinas o'r enw yma; un yn ddeuddeg, a'r llall yn ddeuddeg a deugain o filldiroedd oddiwrth y ddinas sanctaidd. Galwodd Jerom y ddwy ddinas yma Bethoron, ac sydd yn dal ddarfod eu hadeiladu gan Salomon, ac a ddinystriwyd gan y rhyfel. Bethoron a roddasid gan Pharao yn gynhysgaeth i'w ferch pan briododd Salomon, yr hwn a'i hadferodd i'r Lefiaid, yn rhan pa rai yr oedd yn gorwedd. Ond os credwn yr Iuddewon, nid hon oedd y wir Bither, gan fod un yn arwyddo Tŷ'r Yspiwyr, a'r llall Tŷ y Rhyddid. Barchochebas a ddewisodd y lle hwn i dderbyn yr eneiniad brenhinol; ac ar ol hynny a barodd i arian gael eu bathu; gan arddel ei hun yr un pryd yn Fessïa, a Thywysog y genedl Iuddewig. Efe a ddisgwyliodd i gyhoeddi rhyfel, pan ymadawodd yr ymerawdwr Adrian â'r Aipht; ond fe dorrodd allan yn y flwyddyn 134, yn yr eilfed flwyddyn ar bymtheg o deyrnasiad Adrian.

Dion a ddywed, mai wedi i Adrian ddanfon trefedigion i Jerusalem, a gosod delw Jupiter lle y safasai teml Dduw, ddarfod i'r addoliad dieithr hwn gyffroi'r Iuddewon yn fawr. "Pa fodd bynnag, presennoldeb Adrian, yr hwn oedd y pryd hynny yn yr Aipht, ac a aeth oddi yno i Assyria, a'u hattaliodd tros ryw amser. Hwy a foddlonent eu hunain yn oed yr amser hwn, â gwneuthuriad arfau ammherffaith, a'u gwerthu i'r Rhufeiniaid, fel na ddefnyddient hwy yn eu herbyn eu hunain; ond hwy a wrthryfelasant wedi i'r Ymerawdwr fyned ymaith."

Ysgrifenydd Adrian, Phlegon, a gadwodd lythyr o'r eiddo ei feistr, wedi ei gyfeirio at Servian y prif-swyddog. Y mae yn rhoddi iddo hanes o'r hyn a welodd yn yr Aipht, a thymmer

derfysglyd ei thrigolion, ac yn gwneud anrheg iddo o ryw drysorau a fwriadasai iddo ei hun a'i chwaer. Y mae'n haws gwybod am y rhyfel Iuddewig oddiwrth y llythyr hwn, nag oddiwrth arian dinasoedd Syria; canys y mae yn rhaid ddarfod ei ysgrifennu, pan ymadawodd yr ymerawdwr â'r Aipht neu Syria. Servian, at ba un yr ysgrifenasid y llythyr hwn, ydoedd ei frawd-yngh yfraith, gan ei fod yn gwneud anrheg iddo ag oedd gyffredin i'w chwaer ac iddo ei hun. Gelwir y Servian hwn consul, neu brif-swyddog; pa ryw ddyrchafiad ni chafodd tan Adrian hyd y flwyddyn 134. Rhaid yw, gan hynny, i ni benderfynu, na ymadawodd yr ymerawdwr â'r Aipht a Syria hyd ddechreuad y flwyddyn honno, a darfod i'w absennoldeb yr un flwyddyn gymmell yr Iuddewon i wrthryfel. Hanesydd cenhedlig arall, yr hwn a goffeir gan Eusebius, sydd yn sicrhau fod y rhyfel yn ei lawn fywyd: ddarfod i Bither, yr hon a ymddiffynasid gan y gwrthryfelwyr, gael ei chymmeryd y degfed o Awst, yn y ddeunawfed flwyddyn i Adrian. Y rhyfel, gan hynny, a ddechreuodd y flwyddyn o'r blaen, gan ei fod yn ei gyflawn rym, ac yn agos i'w ddiweddiad. Yr ymerawdwr a roddodd ei enw i'r ddinas a adeiladasai ynghylch anghyfanedd-leoedd Jerusalem yn y flwyddyn 136, ym mha le y cynhaliodd ei Vicenalia. Felly y rhyfel a ddechrenodd yn y flwyddyn 134, ac a ddiweddodd yr ail flwyddyn ar ol hynny. Buonaroui a grybwyll am ddarn o arian a fathwyd gan y tywysog hwn yn y ddeunawfed flwyddyn o'i deyrnasiad, am gael o hono fuddugoliaeth fawr ar y gwrthryfelwyr, a gyrru yr Iuddewon o Jerusalem. I hyn ni ellir rhoddi dim yn wrthwynebiad, ond adroddiad yr Iuddewon a grybwyllir gan Jerom, y rhai a ddywedant barhau o'r rhyfel dair blynedd a hanner.

Ar y cyntaf fe ymddengys i'r Rhufeiniaid esgeuluso'r gwrthryfel hwn; gan ddychymmygu ddarfod darostwng yr Iuddewon mor effeithiol gan ryfeloedd Trajan, na's gallent mor fuan fod mewn amgylchiad i'w gwrthwynebu hwynt. Ond pan welsant rifedi y gwrthryfelwyr yn amlhau, ac ymladd o honynt gyd â'r gwrolder a darddai oddi ar anobaith; bod holl yspeilwyr y taleithiau cymmydogaethol yn uno â hwynt, mewn gobaith o gael anrhaith; a bod nid yn unig Judea, ond yr holl fyd mewn cynnwrf, hwy a wnaethpwyd i newid eu mesurau. Rhai a feddyliant i'r ymerawdwr yn bersonol wneud ymgyrch yn erbyn y gwrthryfelwyr, am eu bod yn sylwi, na ddarfu iddo, wrth ysgrifennu at y senedd, anturio rhagymadroddi ei lythyrau yn y ffurf arferol, oblegid y colledion mawr a gawsai yn y rhyfel hwn; ond, wedi iawn ymofyniad, fe ymddengys iddo ei ddwyn ym mlaen trwy ei gad-flaenoriaid. Barchochebas, yr hwn oedd yn rhagori o ran amlder ei luoedd, ar y cyntaf a wnaeth ddifrod mawr. Justin Martyr sydd yn achwyn, ddarfod iddo yn unig orddiwes a lladd y Cristionogion, o herwydd na ymwrthodent â'u crefydd. Ei gasineb yn erbyn y proffeswyr hyn o grefydd, a'i anobaith o wneuthur i'r Cristionogion gyd-ymuno â'i fesurau treisgar, y rhai oedd â'r un lles yn dyfod iddynt ag ef ei hun o daraw yn erbyn y Rhufeiniaid, a allai ddyblu ei greulondeb. Ond a ellir meddwl ddarfod i'r cenedl-ddynion yn erbyn pa rai y cyhoeddodd ryfel, a'r trefedigion a ddechreuasai Adrian eu hanfon i Jerusalem gael ymddwyn tu ag attynt gyd â mwy o ddynoliaeth gan y gormeswr hwn nâ'r Cristionogion? Ni ffafrodd y twyllwr yma yn unig ond ei genedl ei hun, eithr a driniodd gyd ag eithaf barbariaeth bawb eraill a syrthient i'w ddwylaw.

Eusebius a Syncellus a ysgrifenant, mai enw y cad-flaenor a lywodraethodd y fyddin yn Judea yn erbyn Barchochebas, oedd Tinnius Rufus. Adrian, yr hwn nid oedd yn hyspys o bwysfawrogrwydd y rhyfel, a ddanfonodd iddo ar y cyntaf adgyfnerthiad mawr; ond wedi i'r blaenor hwn gael ei fynych orchfygu, fe ddanfonodd am Julius Severus, un o'r cad-flaenoriaid pennaf yn ei oes, o Brydain. Y penciwdawd galluog hwn, yn cyfrif yn annoeth i ymladd â byddin mor liosog, fe ymosododd arnynt yn bartïon, a gyfyngodd arnynt yn eu gwersyll, a thorrodd ymaith eu hymborth; a thrwy'r moddion hynny, gan gael y llaw uchaf arnynt, fe warchaeodd ar Bither, yr hon a wnaethant yn ddiogelfa iddynt.

Dywed y Rabbiniaid, fod yn y ddinas honno bedwar cant o ysgoldai neu golegau; ym mhob coleg bedwar cant o gadair-athrawon; a bod i bob athraw o'r colegau hyn bedwar cant o ysgolheigion, y rhai wedi eu gosod i fynu mewn

trefn filwraidd, a wnaethant fyddin fawr. Hwy a ymgynnaliasant tan ymdrechiadau blaenorol y gwarchae, er eu bod ag arfogaeth wael, ac yn anghyfarwydd mewn disgybliaeth filwraidd. Barchochebas a annogodd ei holl ddeiliaid; ac a ddihenyddodd Tryphon, oblegid sôn o hono am roddi i fynu'r ddinas. Er hyn y ddinas a gymmerwyd, a Barchochebas a laddwyd. Adrian, at ba un y dygasant ei ben, oedd yn ewyllysio gweled ei gorph; ond pan aethant i'w ddwyn atto, hwy a gawsant neidr o amgylch ei wddf, yr hyn a ddychrynodd y rhai a'i dygent, a'r tywysog a gydnabyddodd mai Duw yn unig a allai ladd y dyn hwnnw. Pa fodd bynnag, gwnaethant yn ol hynny gyfaddefiad o ddichell y dyn hwn, pa un yn ganlynol a alwasant Bachozab, neu fab y celwydd. Yr ysgolheigion, y rhai mor wychion a amddiffynasant y lle, oeddynt wedi eu rhwymo ynghyd a'u llyfrau, a'u bwrw yn tân. Chwanegant ddywedyd fod y lladdfa mor fawr, fel y bu farw fwy o bobl yn y rhyfel hwn nag a ddaeth allan o wlad yr Aipht. Ar un maen yn unig y cafwyd penglogau tri chant o blant. Ni fu angenrhaid i breswylwyr y lleoedd hynny wrteithio eu tir tros saith o flynyddau ynghyd, am ei fod wedi ei frashau yn ddigonol â'r ysgerbydau meirwon; am hynny y dodasant i mewn yn llyfr eu gwasanaeth cyffredin, emyn appwyntiedig i'r ympryd a gedwid ar y deunawfed o'r mis Ab, yr hwn a gyfatteb i Orphennaf ac Awst, ym mha un y galwant Adrian yn ail Nebucodonosor; gan weddio Duw a'r iddo gofio y tywysog creulon hwn, pa un a ddifethodd 480 o synagogau. Am Aciba, wedi dioddef carchariad tra llym, fe'i barnwyd i farwolaeth greulon; a chyd ag ef, dywedir i ni gan yr Iuddewon, farw gogoniant y cyfreithiau Iuddewig.

Y mae'n wir, fe sonir gan Dion mai hwn oedd un o'r rhyfeloedd creulonaf a fu erioed. Y Rhufeiniaid a gurwyd yn fynych, ac a gollasant amlder o luoedd gwrolwych. Yr Iuddewon, y rhai yr amser hwnnw oedd a chanddynt ddwfn-barch i fedd-faen Salomon, a'i gwelsant yn syrthio, a'r bwystfilod gwylltion ar unwaith yn dyfod i Jerusalem, yr hyn oedd yn arwyddo'r lladdfeydd canlynol. Nid oedd y fath ddamwain heb ystyr iddi: canys pum cant a phedwar ugain o filoedd a laddwyd o ddynion yn yr amrywiol frwydrau; a'r nifer a ddifethwyd trwy'r newyn, caledi, a thân, ni ellir eu cyfrif. Wedi cymmeryd Bither, yr oedd etto gan yr Iuddewon ddeg a deugain o gastelli amddiffynnol, a lluoedd i wersyllu ynddynt. Fe ymddengys hefyd oddiwrth ddarn arian a fathwyd gan yr ymerawdwr y flwyddyn ganlynol, ddarfod iddo fuddugoliaethu arnynt y flwyddyn honno: ond mewn gwirionedd ni fu y gwrthwynebiad yn hir; ac wedi cymmeryd y blaenoriaid ymaith, y lleill yn esmwythach a ymostyngasant i'r gorchfygwyr.

Adeiladaeth Ælia (Jerusalem) a orphenwyd gan Adrian; a'r Iuddewon o amser St. Jerom yn wawdus a gyfrifant y gwaith hwn i Ælius Titus, eu difethwr. Epiphanius a ddywed, ddarfod iddo orchymmyn gofal yr adeiladau hyn i Aquila ei frawd-ynghyfraith. Ond y proselyt yma, yr hwn a drodd yn Iuddew, ar ol proffesu Cristionogrwydd, nid oedd o un cydgarennydd â'r tywysog hwn; ac nid ydym yn cael ddarfod ymddiried iddo â golygu ynghylch yr adeiladau hyn. Cylchyniad y ddinas newydd ydoedd, ryw fodd, yn gwahaniaethu oddiwrth yr hen, gan fod amryw fannau wedi eu cymmeryd i mewn iddi, ag oedd gynt y tu allan i'r pyrth: ond, yn fwyaf mynych, hwy a ddefnyddiasant sylfeini y ddinas gyntaf. Valesius sydd yn ei wadu, ac yn rheswm am hynny a ddywed, y byddai Adrian bell oddiwrth ail-adeiladu dinas oedd mor elynol i'r Rhufeiniaid; a dangos ffafr i'r Iuddewon a ddygasent arno y fath ryfel dinystriol. Ond ni wnaethpwyd hi gan y tywysog hwn er ffafr i'r Iuddewon, fe'i rhoddodd i breswylwyr eraill. Ac am hynny y mae hanesyddion yn sylwi, ddechrau o honynt osod yno esgob, yr hwn oedd o hiliogaeth genhedlig. Yr amcan oedd i ofidio'r hen breswylwyr, trwy eu cauad hwynt am byth o le eu preswylfod cyntaf. Yr oedd Adrian, fel yr ymddengys, wedi gwahardd eu dychweliad fyth yno; ac i wneud yn gas ganddynt y ddinas, os oedd bosibl, fe newidiodd ddefnydd cof-golofnau yr hen Jerusalem; canys fe wnaeth ddefnydd o'r meini â pha rai yr adeiladasid y deml, i wneud chwareudŷ; ac fe osododd i fynu lun gau-dduwiau yn y lleodd ar ba rai y safai y deml gynt. Ac yn ddiweddaf, St. Jerom a ddywed, beri o hono i lun mochyn

gael ei osod uwch hen y porth oedd yn arwain i Bethlehem, i ddangos fod yr Iuddewon yn ddarostyngedig i awdurdod y Rhufeiniaid: ond fe gamsyniodd; ni osodasid llun moch yno i arwyddo caeth-wasanaeth yr Iuddewon, ond i wneuthur iddynt ffieiddio myned i Jerusalem, am eu casineb at y creadur byw hwn; yr arferiad o ba un a waharddid gan y gyfraith; a hwy a dybient ddiwyno'r porth, a'i halogi gan y ddelw a osodid arno.

I waghau y ddinas yn fwy effeithiol o'i hen breswylwyr, Adrian a barodd i nifer mawr o honynt gael eu gwerthu yn ffair Terebinth. Hegesippus a ddywed, mai pren ydoedd Terebinth a barhasai er creadigaeth y byd, tan ba un y cyfarfyddent i fasnachu: ond y lle ydoedd tan ba un y pebyllodd Abraham, ac y derbyniodd yr angylion, a'i gwnaeth mor hybarch a nodedig. Yr Iuddewon a osodwyd i'w gwerthu yno yn ol pris meirch; a'r rhai na werthid a ddygid i ffair arall, yr hon a gedwid yn Gaza. Yn amser Jerom, hwy a gymhwysent at eu hamgylchiad truenus y geiriau hyn, "Llef a glybuwyd yn Rama, Rahel yn wylo am ei phlant;" o herwydd fod eu trallod a'u trueni yn anghymmedrol. Y dysgawdwr hynafiaethol yma hefyd a gymhwysodd at eu truenus gyflwr tan Adrian y brophwydoliaeth hon o'r eiddo Zacariah, "Porthaf hefyd ddefaid y lladdfa;" o herwydd dysgu gwybod o hono trwy draddodiad a hanes yr Iuddewon, ddarfod i'r tywysog hwn roddi nifer mawr i farwolaeth; cospi eraill gyd â'r tostrwydd mwyaf; a gwerthu eraill yn Terebinth, neu eu cludo ymaith i'r Aipht. Y tad hwn a fynega i ni dri o bethau: 1. Darfod iddo ddarllen traddodiadau a hanes yr Iuddewon ymherthynas i'w trallodion, ac am hynny rhaid bod y cyfryw beth wedi digwydd yr amser hwnnw. 2. Bod ffair Terebinth yn parhau; ond yr Iuddewon a gywilyddient ymddangos ynddi, o herwydd coffa o honynt y driniaeth a gafodd eu tadau yno. Fe chwanega, mewn lle arall, fod yr Iuddewon yn crynhoi ynghyd, ac yn dyfod yn ei amser ef i brynu gan y milwyr ryddid i edrych Jerusalem. Ni allent gymmaint ag wylo heb dalu o'i herwydd. Yr hen wŷr a gwragedd a welid yn myned, gyd â dwfr ar eu hwynebau, i fynydd yr Olewydd, i wylo am ddinystriad y deml. Y milwyr a wnaent elw mawr o barchedigaeth yr Iuddewon i weddillion y ddinas sanctaidd, ac o greulonder Adrian yn gwahardd am byth eu myned iad i mewn iddi; canys hwy a werthent iddynt, am bris uchel, olwg ar y lle hwn, a'r rhyddid o daenu per-aroglau ar un o'r meini yno. Jerom a sicrha i ni, ddarfod i Adrian drosglwyddo rhan o'r carcharion yma i'r Aipht, lle y chwanegwyd yn fawr eu rhifedi.

Wedi diweddu y modd hwn yn llwyddianus y rhyfel yn Judea, Adrian a wnaeth ddarnau arian, ac arnynt ddelw gwraig yn cynnal dau o blant noethion, ac yn aberthu ar allor, gyd â'r geiriau hyn:

ADVENTUS AUG. JUDÆÆ.

DYFODFA'R YMERAWDWR YN JUDEA.

Tristan a dybiodd, fod y wraig yn aberthu yn cysgodi y dalaith ddarostyngol hon, gan gydsynio a dyfod yn un o'r cenhedloedd, ac aberthu i gau-dduwiau; a'i bod yn dwyn at yr allor ddau blentyn noethion, i ddangos ei bod yn ymwrthod ag enwaediad. Yr ymerawdwr a feddyliodd yn hytrach arwyddo, wrth yr allor a'r aberth, fod yr hen grefydd wedi ei diddymmu yn y wlad hon, pa un a boblogasai â phreswylwyr newyddion. Yr ydym yn cael dernyn arall o eiddo'r un tywysog yma, lle y dangosir Judea fel gwraig ar ei gliniau, yn rhoddi ei llaw i'r ymerawdwr, gyd â thri phlentyn yn ymbil am drugaredd; un o ba rai a welir yn noeth. A ellir dywedyd mai'r amcan yr hyn ydoedd, i ddangos ei fod heb ei enwaedu? Yn hytrach bwriad anfonwr y darn allan ydoedd argraphu cof golofn, yn cynnrychioli ymostyngiad ac anobeithiol drueni Judea, wedi gorchfygu Barchochebas.

Yr Iuddewon yn y dwyrain oeddynt lawer mwy ffynnadwy. Trajan a ddygasai yn mlaen y rhyfel yn eu herbyn cyn belled a Mesopotamia. Ond Adrian, ar ei esgyniad i'r orsedd, yn dewis heddwch anghlodfawr o flaen rhyfel ammheus, a gydsyniodd i Euphrates fod yn derfyn yr ymerodraeth Rufeinig. Felly nid oedd i Iuddewon y wlad hon un rhan yn rhyfel y tywysog hwn yn erfyn eu cyd-genedl.

Yr oedd cyngrair yn wir wedi ei ffurfio rhwng tri math y Iuddewon. Rhai o breswylwyr y taleithiau cymmydogawl, wedi eu byw-

iogi â gobaith o yspail, a'r llwyddiant manteisiol cyntaf, a ymgyssylltasant â'u gelynion hynafiaethol i ymladd â'r Rhufeiniaid. Llawer o Iuddewon taleithiau eraill yr ymerodraeth, y rhai oedd etto â'u hanadl o ochr rhyddid, ac a geisiasant gyfleustra i'w adferyd, a gymmerasant afael ar yr un bresennol. Ysgatfydd, ddyfod rhai o'r lleoedd mwyaf pellennig, a thu hwynt i Euphrates, yn gymmorth i'w brodyr; ac am hynny rhyfedi y meirw gyrhaeddodd i ychwaneg na chwe chant o filoedd, yr hyn nifer ni ellid eu cael yn Judea yn unig, ar ol yr hyn a ddioddefodd tan Trajan. Er hyn, ni's gellir dywedyd mai Adrian ei hun a ddygodd ymlaen y rhyfel i'r dwyrain, ac a aeth tros Euphrates; canys efe a aeth ymaith i'w ddirgelfa yn Tivoli, lle y gwnaeth ei hun yn gwbl atgas, trwy yr amrywiol greulonderau a arferodd.

Y tywysog hwn hefyd a chwanegodd radd newydd o drueni yr Iuddewon, trwy osod treth arnynt am ryddid i ddarllen y Bibl yn Hebraeg, yr hon deyrnged fyth a dalwyd yn amser Tertulian; canys dywed efe yn ei amddiffyniad, fod yr Iuddewon bob Sabboth yn pwrcasu rhyddid i ddarllen yn gyhoeddus, trwy dreth a dalent. Dywedant, ddarfod i'r Iuddewon, a barchasant yn fawr gyfieithiad y Septuagint, ddechreu ei ffieiddio pan welsant ei fod yn fwy ffafrol i'r Cristionogion nag i'r Hebreaid. Ond Adrian a orchymmynodd iddynt arferyd yn unig y cyfieithiad hwn: felly yr oeddynt yn gorfod talu'r arian am gael darllen Hebraeg yn y Synagogau ar y dydd Sabboth.

Yr oedd yr Iuddewon tan gydradd annedwyddwch ymherthynas i rai a wnaent esgus o fod yn gyfeillion, a'r rhai a arddelent eu hunain yn elynion. Antonius Pius, yr hwn a fabwysiadwyd gan Adrian, ac a ddyrchafwyd i'r anrhydedd mwyaf, a adroddir megis ei fod yn gyfaill gwerthfawr, a noddwr yr Israeliaid, yr hwn a ymostyngasai ei hun i'r ddefod o enwaediad. Pa fodd bynnag, efe yn wastadol a ddarnguddiodd ei wir egwyddorion; canys yr ydoedd, mewn gwirionedd â'i ogwydd ar addoli eilynod. Ac er hyn oll, efe ar gyhoedd a ffafrai'r Iuddewon, a ymroddai ei hun yn wresog i astudio eu cyfraith, ac ydoedd yn un o gyfansoddwyr y Mishna, yr hwn a elwir felly oddi wrth ei fod yn ail adroddiad o'r cyfreithiau Iuddewig, defodau, a seremoniau. Antonius, pa fodd bynnag, a fu yn fuan tan angenrheidrwydd i wneud rhyfel ar yr Iuddewon, gan wrthryfela o honynt yn erbyn ei lywodraeth. Y gwaharddiad i enwaedu, gan yr ymerawdwr Adrian, a barhaodd mewn grym, a'r Iuddewon a orfu iddynt ymostwng, ar gyfrif y mawr allu oedd ganddo yn ei feddiant. Fel y gellid meddwl, hwy a gymmerasant bob cyfleustra i dorri trwy y rhwymau oedd yn milwrio mor gadarn yn erbyn eu defodau dechrenol, mewn amser hwy a ymgryfhasant yn ddigonol i wrthsefyll trwy rym arfau, a hwy a ymroesant i wneuthur i Antonius ganiattau iddynt y rhyddid hwn. Yr Iuddewon a orchfygwyd gan Antonius; ond efe ar ol hynny a adferodd iddynt ragorfraint yr enwaediad, er mai tan derfynol rwymau.

Ar yr amser hwnnw, bu ymdiddan rhwng Justin Martyr a Tryphon. Yr Iuddewon a grybwyllant am Rabbin enwog yr hwn oedd gyd-ddysgawdwr ag Aciba, a elwid Tryphon; a Dr. Lightfood a feddylia mai yr un ydoedd ag a fu Justin Martyr yn ymddiddan ag ef. Yr oedd efe nid yn unig yn gyfoethog, ond elusengar; canys dywedir i ni wedi Aciba gymmeryd y swydd o ofalu tros y tlodion, roddi o hono iddo 4,000 o goronau aur, y rhai a ddosparthodd mewn un dydd. Er mai dysgybl ydoedd o ysgoldy Sechammy, etto efe a berchid, ac amryw ymadroddion o'r eiddo ef a gedwid ac a ddodwyd i mewn ym mhlith prif-resymmau'r tadau. Y mae'n annog dynion i brysuro eu sancteiddiad, o herwydd byrdra oes dyn. Bod Duw yn ei orchymmyn, a'r gwobr a fydd yn fawr. Ymhellach, y mae yn dysgu, "Nad yw dyn tan rwymau i gyflawniad o'r holl gyfraith; a thra y mae'n darbod i wneud ymdrech i wybod ond un rhan o honi, etto fe dderbyn wobr mawr."

Yr un person a ddysg i ni, fod enw deuddeg o lythyrennau wedi colli eu hiawn swniad y pryd hwnnw. Yr enw Jehofa sydd yn anhraethadwy, o herwydd ei fod yn datgan hanfod Duw heb ddim petrusder, pan y mae'r enwau eraill yn unig yn ei wneud yn adnabyddus wrth ei briodoliaethau. Yr ydoedd, ymhellach, ddadl ym mhlith y dysgawdwyr ynghylch y modd o'i iawn swnio. Y llygyddion di-gyssegredig y rhai a gynnyddasant mewn rhifedi ar

ol marwolaeth Simeon y cyfiawn, a'i hammharchasant; ac, oblegid hynny hwy a adawsant heibio ei enwi. Yn lle'r enw anhydraeth hwn y gosodwyd un o ddeuddeg llythyren, yr hwn a draethai'r offeiriad wrth fendithio'r bobl. Ond Tarphon a sicrha, pan nesaodd un diwrnod at yr offeiriad i'w glywed yn datgan y fendith, fe ganfu nad ydoedd yn eglur swnio y ddeuddeg llythyren, ond ei fod yn unig yn ymleferydd tra fyddai'r brodyr yn canu; a'r achos o'r cyfnewidiad hwn a darddodd oddi wrth nifer y rhai anghyssegredig, pa rai a aethant ar gynnydd. Hwy a ganmolant yn fawr ddoethineb y Tarphon hwn, a'i wybodaeth yn y gyfraith.

Marcus Aurelius ydoedd yn un o dymmer dirion wrth naturiaeth; etto ni ryddhaodd hyn yr Iuddewon oddi wrth flinderau trymion tan ei deyrnasiad ef. Y tywysog hwn ydoedd ganddo'r fath dŷb o honynt, fel ag yr oedd unwaith yn tramwyo trwy Judea yn ei ffordd i'r Aipht, fe lefodd allan ei fod wedi cael pobl mor gynddrwg a'r Marcomaniaid a'r Sarmtianiaid, y cenhedloedd barbaraidd hynny, ag oedd yn gwneuthur rhyfel gwastadol, ac a ddifrodasant ran fawr o'i ymerodraeth tan ei deyrnasiad. Heblaw hyn, yr oedd dau amgylchiad arall wedi digwydd, pa rai oedd dra niweidiol iddynt. Vologesus, brenin Parthia, oedd yn gwneuthur arlwyadau milwraidd ar yr un amser ag y bu farw Antonius; ac fe ddechreuodd y rhyfel ychydig arol ei farwolaeth, â rhuthriadau terisgar. Severian, llywydd Cappadocia, trwy ymdrechu i'w wrthsefyll, a ddifethwyd, gyd â'i holl fyddin. Wedi gwneuthur ymgyrch yn ol hynny i Syria y Parthiaid a wnaethant ddistryw dychrynllyd. Yr Iuddewon dwyreiniol, y rhai oeddynt ddarostyngedig i'r Parthiaid, a gelynion i'r Rhufeiniaid, a ymgyssylltasant â hwynt, ac a chwanegasant nifer eu byddin. Marcus Aurelius a ddanfonodd Lucius Verus, ei gyd-gymdeithaswr, gyd â swyddogion pennaf yr ymerodraeth: ond efe a arhosodd yn Antioch i ymesmwythâu, ac a adawodd y rhyfel i drefniad ei gad-flaenoriaid.

Cassius, yr hwn a flaenorodd, a gurodd Vologesus, ac a'i herlidiodd hyd at ei brif-ddinas Ctesiphon, yr hon a gymmerodd, ac a ddymchwelodd balas y brenin. Babilon, pa un hyd yn hyn a wnaeth ryw ymddangosiad o gadernid, Mesopotamia, a gwledydd y Mediaid, lle yr oedd nifer mawr o Iuddewon, a wnaethpwyd yn anghyfannedd. Seleucia, ar lennydd y Tigris, a ymostyngasant yn wirfoddol: ond y Rhufeiniaid, gan dreisio ammodau'r ymostyngiad, a laddasant, trwy'r cwbl, bedwar neu bum can mil o bersonau. Ar sefydliad o heddwch, a benderfynwyd ym mhen y pedair blynedd ar ol dechreuad y rhyfel, Mesopotamia ac Osrene, pa fodd bynnag, a arosasant yn ymostyngol i'r Rhufeiniaid. Fel hyn Iuddewon y wlad hon a ddarostyngwyd unwaith yn rhagor tan eu hawdurdod. Cassius yr hwn a adawodd y dwyrain i oresgyn y Sarmatianiaid, wedi ymchwyddo trwy gynnifer o orchestion a buddugoliaethau, yr hyn a'i gosododd mewn gradd o enwogrwydd, a'i annog, fel y dywedir, gan Faustina, gwraig Marcus Aurelius, yr hon oedd am ei wneud yn ymerawdwr, fel y gallai hi ei briodi ar ol marw ei gŵr, a gymmerodd arno y titl o ymerawdwr yn Syria, lle yr ydoedd yn rhaglaw, wedi yn gyntaf daenu y gair o amgylch fod yr orsedd yn wâg trwy farwolaeth Marcus Aurelius. Ond megis breuddwyd a fu ei deyrnasiad, canys ni pharhaodd ond tri mis a chwech o ddyddiau. Pa fodd bynnag, yr Iuddewon, y rhai yn unig oeddynt yn disgywl cyfleustra i gyfodi, yn canfod y tân wedi ei ennyn yn y gymmydogaeth, a chwanegasant at ei ddefnyddiau trwy ymgyssylltu â'r gwrthryfelwyr. Marcus Aurelius a ganiattaodd faddeuant i blant Cassius, pen yr hwn a ddygasid iddo, ac a arbedodd dywallt gwaed y seneddwyr, y rhai a gyd-unasent â'r fradwriaeth. Parodd hyd yn oed i'w lythyrau gael eu llosgi, fel na wybyddid mwyach am danynt. Ond ni allai oddef yr ammharch a ddangosasai yr Iuddewon iddo; ac, er eu cospi hwynt, fe adnewyddodd gyfreithiau Adrian i'w herbyn. Pa un ai a gam-gyflawnwyd y cyfreithiau hyn, yn enwedig yn Asia, lle'r oedd yr Iuddewon yn lliosog, ac yn dra phell oddi wrth yr ymerawdwr; neu ddarfod iddynt bwrcasu rhyddid i flino'r Cristionogion, hwy a wnaethant eu hunain yn y wlad hon yn hynod gan eu casineb. Justin Martyr a'u cyhuddodd o'r blaen â'r canlyniadau o'r dymmer hon a dorrodd yn fynych allan. Ond hwy a'i hamlygasant yn Smyrna, ym merthyrdod Polycarp; canys hwy nid yn

unig a unasant eu llais â'r cenhedloedd, wrth lefain yn yr orseddfa, 'Atheist yw efe:' ond a oeddynt hefyd yn fwyaf llidiog o amgylch lle ei ferthyrdod. Hwy a erlident y gŵr enwog hwn wedi ei farwolaeth, trwy ofyn gan y barnwr am ommedd ei gorph i'r Cristionogion; ond o'r diwedd, fel yr oedd cadben y gwarchawdlu yn canfod chwerw gynddaredd yr Iuddewon tu ag at y corph marw, fe barodd ei ddifa yn ulw.

Er gwneud y cythrwfl yma gan werinos terfysglyd, a chael ei oddef trwy'r rheswm o gasineb at y Cristionogion; etto y mae'n sicr i'r Iuddewon fwynhau helaeth ryddid cydwybod yn Smyrna; gan eu bod yn yr orsedd neu'r frawdle, ac yn gwahaniaethu eu hunain oddi wrth y cenhedloedd. Ymhellach y mae gennym arwyddion o'u hawdurdod yn Phrygia, trwy'r attebiad a wnaeth gŵr uniawn-gred i'r Montanistiaid, yr hwn a'u cyhuddodd o fod yn llofruddion y prophwydi. "A oes un o honynt, er dechreuad eu plaid, ag a erlidiwyd gan yr Iuddewon, neu a laddwyd gan y rhai annuwiol? A oes un ferch a fflangellwyd yn y synagogau, neu a labuddiwyd? Yr awdwr hwn sydd yn cyfrif erledigaeth y Cristionogion i'r Iuddewon, a'r rhwygiadau ag oedd yn gwahanu Cristionogrwydd. Chwanega hefyd yr awdurdod o fflangellu. Y lliaws o aollywodraethus werin Asia, yn amser Marcus Aurelius, a erlidient y Cristionogion yn yr heolydd â meini, ac ar amserau a'u croeshoelient hwynt. Y modd yma, mae'n dra thebygol, y mertherwyd Thraseas, esgob Eumenia, neu Enalhisar yn Phrygia Pacatiana. Rhaid fod yr enwaededigion yn lliosog yn y rhan yma o'r byd, pan yr ymdrechodd Montanus i'w denu hwynt, trwy roddi'r enw Jerusalem i ddwy o ddinasoedd bychain yn Phrygia, y rhai yr oedd efe yn ei gyfrif yn drigfannau pennaf ei blaid ef.

Ynghylch yr amser hwn fe ddigwyddodd troedigaeth, a bedyddiad anarferol un o'r Iuddewon. Fel yr oedd gŵr o'r genedl yma yn cyd-deithio ag un o'r Cristionogion, y'nheyrnasiad Marcus Aurelius, trwy ddiffeithwch, daeth arno'r fath syched anniodd efol, fel y tybiwyd ei fod yn myned i drengu ganddo. Dymunodd yn ddiymaros gael ei fedyddio; yr hyn a barodd anesmwythder yn y Cristionogion, trwy eu bod yn hollol amddifad o ddwfr. Un o honynt a feddyliodd wneud i fynu'r diffyg trwy gymmeryd tywod a'i daflu ar gorph y Credadyn newydd, gan adrodd y ffurf fedyddiedig. Yr Iuddew a iachaodd wedi cael y bedydd newydd hwn, ac a aeth rhagddo i ddinas Alexandria. Dionysius, yr hwn oedd esgob yno y pryd hwnnw, wedi ei wneud yn hyspys o'r weithred, a orchymmynodd i'r Iuddew gael ei ail-fedyddio â dwfr. Nicephorus a chwenega, ddarfod i'r cyffelyb siampl ddigwydd tan Athanasius; ac fe ddug ger bron y drydydd siampl, pa un a fu yn ei amser ef yn Constantinopl.

Ond dychweliad Hegesippus, yr hwn oedd yn byw yr amser hwnnw a ymddengys yn ammhëus gan lawer. Fe gyttunir mai Iuddew ydoedd, a darfod iddo ymuno â Christionogrwydd. Ond rhai o'r pleidiau a'i gosodant allan fel math o Gristion hannerog, trwy ei fod heb gael ei wneud yn ewyllysgar i roddi i fynu rai daliadau a'i meddiannodd o'i febyd. Er na wanheid y gwirionedd trwy'r diffyg o amddiffynwyr, a chan y farn a ffurfir gennym y pryd hwn am ei athrawiaeth; etto ni allwn ymarbed a dywedyd, fod y rhesymmau a gesglir i'w erbyn ef yn dra egwan: canys Eusebius a ddywed yn unig, iddo gyhoeddi amryw bethau o efengyl Hebraeg a Syriaeg, a thraddodiadau anysgrifenedig yr Iuddewon. Dylid, gan hynny, gyfrif iddo ef barhau yn Iuddew, oblegid iddo arfer traddodiadau anysgrifenedig y synagog, megis ag y cyfrifir ei fod yn Ebioniad, o herwydd ei fod ar brydiau yn coffâu yr efengyl Hebreaidd. Er hynny ni wedir gan neb na chofleidiodd Gristionogrwydd. Hegesippus a ddywed, iddo fyned i Corinth, lle'r yr oedd yr eglwys yn aros yn barhaus y'mhurdeb y ffydd; a darfod i Primus, yr hwn oedd y pryd hynny yn esgob, roddi cysur mawr iddo trwy'r ymddiddanion a fu rhyngddynt ym mherthynas i'r gwirionedd. Oddi yno fe aeth i Rufain, ac a gadwodd gymmundeb gwastadol â'r esgobion oedd olygwyr yr eglwysi yno. Nid oedd eglwys Corinth o blaid yr Ariaid neu'r Ebioniaid. Y mae Hegesippus yn ei chyfrif megis yn proffessu y wir ffydd. Efe a unodd â'r esgob hwn, ac a ymddiddanodd ag ef ynghylch purdeb y ffydd hon: y mae, gan hynny, yn ddiddadl, fod Hegesippus o'r un grefydd a'r esgob, ac a'r eglwys, gan ei fod yn cymmeradwyo purdeb eu ffydd, a'i fod yn dal yr athrawiaeth a dderbyniodd yn Corinth yn Rhufain.

Dywedir i ni gan Hegesippus, fod traddodiadau ym mysg yr Iuddewon, a'r nad oeddynt ysgrifenedig yn ei amser ef. Y mae gennym reswm, gan hynny, i feddwl, na chyfansoddwyd y Misnah gan Judas y Sant hyd deyrnasiad Commodus, tu a diwedd yr ail ganrhif, gan nad oeddynt wedi eu cyhoeddi etto yn amser Hegesippus, yr hwn oedd yn byw tan Marcus Antonius. Eusebius ar y cyntaf a'i gosodasai tan Adrian; ond fe ymddengys iddo weled ei gyfeiliorni, a'i ddiwygio.

Hegesippus, hefyd, sydd yn mynegi am bedair o bleidiau hynod ym mysg yr Iuddewon; y Samariaid, y Phariseaid, y Saduceaid, a'r Esseniaid; at y rhai y mae yn chwanegu y Galileaid. Y rhai hyn ydoedd ganlynwyr y Judas hynod hwnnw, pa un a gyfododd yn amser y dreth a wnaethpwyd gan Augustus, a'r hwn ni fynnai gydnabod yr ymerawdwyr yn arglwyddi, na thalu teyrnged iddynt. Yr yspryd hwn o wrthwynebiad oedd etto mewn bod; a thyma oedd y pleidiau y rhai a fu'n achos o'r gwrthryfeloedd dychrynllyd a orphenodd ddinystr y genhedlaeth. Y bedyddwyr Hemero a gyhuddir gan Epiphanius o ddarfod iddynt gorphori holl gyfeiliornadau y Phariseaid a'r Saduceaid; ond nid wyf yn gweled pa reswm sydd am y cyhuddiad hwn; canys eu henw a arwydda yn unig eu gofal i ymolchi eu hunain bob dydd, neu amryw weithiau yn y dydd. Cangen o'r Phariseaid ydoedd y rhai a gyhuddwyd gan Grist o fod yn hoffi amryw olchiadau; a'r rhai yn ol hynny a ymwahanasant oddiwrth gorph eu plaid, i wneuthur un mwy neillduol, ac, ysgatfydd , un fanylach yn y pwngc o arfer ymolchiadau.

Y Masbotheaid a gyfrifir gan Hegesippus ym mhlith y pleidiau Iuddewig. Y blaid hon a gyfododd yn ol amser ein Iachawdwr; canys ni adnabyddir hwynt oddi wrth yr efengyl, na thrwy un awdwr mwy hynafiaethol. Yr ydys yn amlygu eu daliadau i ni yn y Gosodedigaethau Efengylaidd: yr oeddynt yn gwadu rhagluniaeth, ac yn credu fod pob peth yn digwydd o ddamwain: yr oeddynt hefyd yn ymwrthod â'r athrawiaeth o anfarwoldeb yr enaid. Felly'r oedd y Masbotheaid yn gangen o'r Saduceaid, fel yr oedd Bedyddwyr Heremo yn tarddu oddi wrth y Phariseaid. Ni's gwn paham y meddyliwyd ddarfod benthycca eu henw oddi wrth y Sabboth, yr hwn yr oeddynt yn ei gadw yn fwy crefyddol nag eraill; canys nid oes un berthynas rhwng y geiriau Masbotheaid a Sabbatariaid. Y dywediad am hereticaid yn amser hwnnw ydyw, eu bod yn cymmysgu ieithoedd, ac yn llunio geiriau anadnabyddus oddi wrthynt. Yr ydoedd Masbotheaid eraill, disgyblion i Simon Magus, y rhai a wahaniaethodd Theodoret oddiwrth y pleidiau Iuddewig, a chyd â rheswm; oblegid fod eu hâch hwynt yn tarddu oddi wrth un Masbotheus, eu sylfaenwr, ac a ellir eu cyfrif ym mysg hereticiaid Cristionogol.

Hanesiad tra gwahanol a roddwyd gan Justin Ferthyr i Tryphon, am y pleidiau oedd yn gwahaniaethu'r Iuddewon yn ei oes ef, er ei fod yn gydoeswr â Hegesippus. Y mae'n myned heibio i'r Esseniaid yn ddistaw, fel pe buasent hwy wedi difiannu: a gellid yn hawdd gredu ddarfod i Hegesippus yn unig eu crybwyll hwynt, oblegid iddynt gynt wneuthur ymraniad mor fawr yn y genhedlaeth. Justin Ferthyr sydd yn dal allan dair o bleidiau, y Genistiaid, y Meristiaid, a'r Helenistiaid. Dywedir ddarfod i'r Genistiaid gael eu hanrhydedd oddi wrth fod yn hiliogaeth Abraham, Tâd y ffyddloniaid. Y Meistriaid a rannent yr ysgrythyr, ac ni wnaent dderbyniad o'r holl brophwydi, oblegid cael o honynt eu cynhyrfu gan wahanol ysprydoedd. Y Meristiaid hyn a allent fod y rhai hynny grybwyllir gan Benjamin a Tudela. Efe a gafodd ymrysonau yn Cairo, o herwydd i Iuddewon Babilon a'r Irack rannu'r ysgrythyr yn wahaniaethol oddi wrth y rhai hynny yn Syria. Y cyntaf a'i rhannodd yn y fath fodd ag y darllenid hi oll mewn un flwyddyn; a'r lleill, trwy amlhau'r dosparthiadau, a'u darllenent unwaith mewn tair blynedd. Scaliger a ddychymmygodd fod yr ymradiad rhwng y Groegiaid a'r Babiloniaid, o herwydd iddo ddarllen yn Banjamin y gair Igricum, yr hwn a gyfieithodd efe "y Groegiaid." Ond Costantin, yr ymerawdwr, yr hwn a gyhoeddodd ac a gyfieithodd hanes ei deithiau, a'i darllenodd *irræakin.* Iuddewon yr Irack ydoedd, ysgatfydd, Feristiaid Hegesippus, y rhai a ddechreuodd wahaniaethu ynghylch y drefn o ddarllen a rhannu'r ysgrythyrau.

Yr Helenistiaid a ddechreuasant hefyd osod i fynu blaid newydd, yr hon ni fydd yn anfuddiol olrhain ei dechreuad. Wedi buddugoliaethau Alexander Fawr, gwahaniaeth a wnaethpwyd rhwng yr Iuddewon Helenistiaidd, yr hyn a osodir allan mewn prif-lythyrenau yn yr efengyl. Yr enw hwn a roddid iddynt o herwydd eu cymmysgu â'r Groegiaid; a siaradent eu hiaith, ac a ddarllennent yr ysgrythyrau sanctaidd ynddi, wedi eu cyfieithu. Yr ydym yn sylwi ar y gwahaniaeth hwn yn unig rhyngddynt a'r Iuddewon eraill, gyd â'r rhai mewn modd arall, yr oeddynt yn gyd-gyfrannog o'r un grefydd, aberthau, a seremoniau.

Yn ol dywediad Scaliger, yr eiddigedd a'r casineb hwn a barhaodd yn dra hir rhwng y ddwy ran yma o'r genedl; y rhai oeddynt yn wastadol â math o rwygiadau ac ymryson yn eu mysg. Hwy a waradwyddasant yr Helenistiaid am ddarllen yr ysgrythyr yn ol dull yr Aiphtwyr, o'r asswy at y ddehau, a hyn ydoedd fath o dramgwydd. O waradwydd hwy a ddaethant i ergydion; a thra'r oedd yr ail deml yn sefyll, Eleazar mab Tsadoc, gan fyned i mewn i synagog yr Alexandriaid yn Jerusalem, a lefarodd bethau mwyaf trahaus a allai ei gynddaredd ddychymmygu. Scaliger a olrheiniodd y rhwyg hwn mor bell a'r ddeuddegfed ganrhif. Os oedd Scaliger yn gywir, rhaid fod sect neu blaid yr Helenistiaid yn llawer hynach nag yr ydym ni yn ei gwneuthur. Ac er bod rhyw fesur o eiddigedd rhwng yr Helenistiaid ac Iuddewon Palestina, etto ni ddaeth ym mlaen hyd at wahaniad neu rwygiad. Caniattawyd i'r Helenistiaid adeiladu amryw synagogau yn Jerusalem at eu gwasanaeth hwynt, lle'r oeddynt yn cyflawni eu defosiwnau, pan na adroddodd Josephus am un ddadl ynghylch y mater hwn; ac na achwynodd Philo fod yn gwneuthur cam â'i gydwladwyr. Mae'r dysgedigion yn gwahaniaethu, ac yn rhedeg i ormodedd, ymherthynas i godiad, achos, ac amser eu hymraniad. Rhai, megis Salmasius, a feddyliant iddynt brofi, na ddarllenwyd y Bibl erioed yn Groeg, am na ddarllenwyd mo'no yn Arabic, pa un sydd fwy cyffredin, ac a ddyallid yn well gan yr Iuddewon, nag y dichon y Groeg gael ei ddeall. Un arall a gyd-gyssyllta yr Helenistiaid a'r Iuddewon yn Jerusalem; ac a ddychymmyg ei fod yn cael prawf o hono yn hanes yr Actau, lle'r oedd yr Iuddewon a'r Groegiaid yn ymrannu y'nghylch gosodiad deaconesau; yr hyn ni allasai ddigwydd, pe na buasent y'nghyd o'r un synagog, fel pe na buasai'r cwestiwn yno y'nghylch y Groegiaid a'r Iuddewon dychweledig, y rhai oedd yn gwneuthur un corph yn yr eglwys, lle na's gallent barhau yn hir heb ymraniad. Eraill gan ddwyn tystiolaeth o du cyfieithad y Septuagint, oeddynt yn ei gael ym mhob lle, ac yn ei ddyrchafu uwchlaw yr hyn ydoedd yn yr iaith wreiddiol.

Y ffordd ddiogelaf yw cadw at y cyfrwng rhyngddynt. Angenrheidrwydd oedd yn gofyn i'r Helenistiaid, y rhai ni ddeallent Hebraeg, i ddarllen y gyfraith yn Roeg yn eu synagogau. Er pe byddai yn wir, fod Philo, a rhai dysgedig eraill, yn deall y Syriaeg, byddai etto yr un angenrheidrwydd am y cyfieithiad Groeg i'r nifer mawr o Helenistiaid oedd yn yr Aipht, ac yn holl ddinasoedd mawrion Asia tan y llywodraeth Rufeinig. Ni allai'r Iuddewon yn Jerusalem farnu ar yr ymarferiad hwn, gan fod ganddynt yn eu plith y cyffelyb ymarferiad wrth ddarllen y dehongliad Caldeaeg: a lle nad oedd dehongliad 'sgrifenedig, hwy a lanwent i fynu y diffyg â chymhwysiad o bob adnod; yr hon ddefod gan ei bod cyn hyned ag Ezra, a awdurdododd y cyfieithiad Groeg yn yr holl fannau lle nad oedd y Caldeaeg yn iaith y wlad. Simeon, mab Gamaliel, yr hwn oedd yn byw yn amser rhyfel Titus, a benderfynodd i'r ddeddf gael ei darllen a'i hysgrifennu yn Groeg. Cawn weled yn ol hyn paham y darfu i'r Gemaza gyfyngu y penderfyniad hwn i bum llyfrau Moses. Gallwn chwanegu, pan ddaeth R. Lefi i Cæsarea, lle'r oedd llawer o Roegiaid, y modd y rhyfeddodd glywed y geirian Hebraeg, "*Clyw, O Israel*," yn cael eu llefaru yn Roeg. Ond R. Joses a ofynnodd iddo, pa un ai nid oedd y rhai na ddeallent Hebraeg fyth yn darllen y gyfraith; ac a chwanegodd, "Fod pwy bynnag a ddarllenai mewn iaith adnabyddus, neu'r hon a ddeallai, yn gwneud eu ddyledswydd."

Lightfoot, yr hwn ni fedrai wadu nad oedd copiau Groeg yn y synagogau, a ddychymygodd ddarfod eu gosod yno mewn ffordd o rag-rybydd, fel pan ddelai'r cenhedloedd i mewn i brofi eu crefydd, yr argyhoeddid hwynt gan eu

llygaid eu hunain nad ydoedd ddrwg. I addef fod copïau Groeg yn y synagogau, yw cyfaddef fod y ddeddf yn cael ei darllen yn yr iaith hon, ac na luddiodd yr Hebreaid wneud arferiad o'r hyn a dderbynid yn gyffredinol yn ardaloedd yr ymerodraeth Rufeinig. Er hyn yr oeddynt bob un o honynt yn ystyried y fam-iaith megis yn gysegredig, ac yn rhagori, yn gystal ar y cyfieithiadau, ac ar y deongliadau Caldeaidd, o herwydd i Dduw wneuthur dewisiad o'r dafod-iaith hon.

Cynnydd Cristionogrwydd a aflonyddodd ar gydgordiad yr Iuddewon. Y Cristionogion wrth ymddadleu â hwynt a arferent bob amser gyfieithiad y LXX, yr hwn nid yn unig a ddeallid yn well, ond a ydoedd yn fwy manteisiol iddynt. Justin Ferthyr a goffaodd brofiadau allan o hono: oblegid y mae yn cyhuddo'r Hebreaid o ddarfod iddynt yn ddiweddar dynu allan y geiriau hyn o Jeremi, "Ydwyf megis oen a arweinid i'r lladdfa," yr hyn a gaid ynghyfeithiad y Septuagint. Dygodd ei brofiadau ym mlaen y'mhellach, gan goffâu ymadrodd o Esdras, yr hwn nid yw yn un-man i'w gael, â'r hwn y cyhuddir ef o ddarfod ei roddi yn y Groeg; er ei fod yn fwy na thebygol, fod y ffuantrwydd hwn o bellach hynafiaeth nag y darfu iddo ef wneud defnydd o hono. Y gwaradwyddiadau hyn, oddi ar iawn neu gau sylfeini, a ddechreuodd beri i'r Iuddewon ddirmygu'r cyfieithiad Groegaidd, ac i fagu cyn lleied o barch ynddynt at y rhai oedd yn gorfod ei arfer. Yr ieithoedd gwreiddiol a ddyrchefid uwchlaw'r cyfieithiad, yr hwn a wrthodid, ac a gaed yn niweidiol. Hwy a ymollyngasant i ormodedd, a'r ddadl yma a barodd yr effeithiau canlynol:

1. Yr enw Helenistiaid a ddaeth yn ffiaidd; a'r rhai a'i dygai yn gweled eu hunain yn cael eu hanmherchi â chwerwon waradwyddiadau, a osodasant i fynu y sect a grybwyllir gan Justin Ferthyr. Yma, gan hynny, y mae gennych ddechreuad y gyfryw sect neu blaid. 2. Hwy a gynnygiasant wneud cyfieithiadau newyddion, o'r rhai y rhoddwn gyfrif. 3. Y Gemaristiaid, heb fod yn alluog i wahardd darlleniad y llyfrau Groeg, a'i cyfyngasant i'r Pentateuc; o herwydd fod y pum' llyfr hwnnw yn cynnwys llai o brophwydoliaethau dadleugar na'r rhai o lyfrau eraill. 4. Fel yr oedd y casineb at yr Helenistiaid yn cynnyddu yn wastadol, y ffug-ryfeddodau hyn a ddyfeisiwyd, pa rai a ddywedid eu digwydd ar yr amser y cyfansoddwyd cyfieithiad y Septuagint; a hwy a siaradasant am ympryd a gynhaliwyd ar gyfrif y cyfieithiad hwn, am yr hyn nid oes un crybwylliad yn y Talmud.

Fel hyn yr ydym yn dadrys hanes yr Helenistiaid, ac nid yn unig yn ei dad-ddyrysu gyd â thebygolrwydd, ond ein barnau hyn a seilir ar lawer o ddiymwad dystiolaethau. Y pleidiau newyddion hyn a ymddangosasant, gan hynny, ychydig o flaen Justin Ferthyr; neu, yn hytrach, enw yr Helenistiaid, yr hwn yn brin a gashëid o'r blaen, a dyfodd felly y pryd hwnnw, ac a aeth tan yr enw o *sect*.

Amryw gyfieithiadau o'r Bibl a wnaed gan y gwahanol bleidiau; a'r fath yma o orchwyl a ddaeth mewn ymarferiad mawr ym mysg yr Iuddewon. Pa un a ydoedd yr Helenistiaid a lefarasom am danynt yn ei ddymuno, neu ddyfod o honynt yn fwy angenrheidiol i ddadleu yn erbyn y Cristionogion oedd wedi ymdaenu tros yr holl ymerodraeth Rufeinaidd. Aquila oedd y cyntaf a gymmerodd hyn arno; cyfieithiad pa un a dderbyniwyd gyd â bri mawr gan yr Helenistiaid. Origen a sicrhâ, fod yr holl Iuddewon na ddeallent Hebraeg yn arfer y cyfieithiad hwn, pa un a edrychent arno megis yn rhagori ar y cwbl. Philestrius sydd nid yn unig yn llefaru yr un peth, ond yn 'chwanegu, fod rhai hereticiaid yn ei ddilyn. Yn y cyfamser, y Talmudiaid, yn llawn o'r eiddigedd a orfyddodd tros gryn amser yn erbyn yr Helenistiaid, a wnaethant eu goreu i feddiannu'r bobl â chasineb tu ag atto, a'u gogwyddo at y Bibl Hebraeg. Yr ydym yn cael yn eu 'sgrifeniadau amryw ergydion goganllyd yn erbyn y Bibl Groeg. Y Cristionogion a achwynasant o'i blegid, am ddyfod o hono o ddwylaw ammheus, a ledrattasai oddi arnynt amryw fannau o'r ysgrythyr: ond, pa fodd bynnag, hwy a wnaent weithiau ddefnydd o hono; a St. Ierom, yr hwn a feiasai arno gynt, a ganmolodd ar ol hynny gywirdeb yr awdwr. Theodorion a wnaeth gyfieithiad arall. Yr Iuddewon a gymmerent ymaith yr oruchafiaeth hon oddiwrth yr eglwys; canys Theodorion, yr hwn a anesid yn genedl-ddyn, a gofleidiodd Gristionogrwydd; ond wedi ei ddwyn trosodd i Iuddewiaeth, efe a

enwaedwyd. Yr ydoedd a'i enedigaeth o Pontus, lle yr adnabu Marcion, ei gyd-wladwr, ac yr ymunodd â'i blaid ef. Oddi yno fe aeth i Ephesus, lle'r oedd yr Iuddewon yn lliosog ac yn gedyrn; ac efe a restrodd ei hun i mewn i'r synagog. Fe ymddengys fod hyn yn drosedd-iad o gyfraith yr ymerawdwr Antonius, yr hwn a waharddodd i'r Iuddewon wneuthur Proselytiaid, a'u henwaedu hwynt. Ond, nyni a sylwiasom eisoes, mai drwg yr oeddid yn cyflawni y cyfreithiau hyn yn Asia; ac ysgatfydd ddarfod i Marcus Aurelius eu diddymmu hwynt. Canys ni wnaeth Theodorion un math o ddirgelwch o'i enwaediad; a'r Cristionogion a'i gwyddent yn dda ddigon. Fe ddysgodd gan ei athrawon newyddion ddigon o Hebraeg i gyfieithu'r ysgrythyr, neu, yn hytrach i gopïo'r Septuagint; canys fe'u dilynodd hwynt mor agosed, fel y gwnaeth Origen ddefnydd o'i gyfieithiad i lenwi i fynu y gwagleoedd a gafwyd yn y Septuagint. Fe ddywedir, ddarfod iddo ei gyhoeddi yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Commodus, yn ol defod yr amser hwnnw: canys y dysgedigion oedd yn falch ganddynt gyhoeddi eu gwaith ar amser genedigaeth rhyw dywysog, neu pan ddeuent i'r orsedd.

Heb fyned i ddadleu ynghylch y ddefod hon, a ydoedd Iuddew yn gwneud ymddangosiad digon hynod yn yr ymerodraeth i anrhydeddu coroniad Commodus â chyfieithiad o'r Ysgrythyrau Sanctaidd? Er mor atgas y gallasai ei berson fod, fe fedodd y Cristionogion ryw fantais oddiwrth ei waith, ac i ddarllen yn gyhoeddus ei gyfieithiad o lyfr y prophwyd Daniel, o achos fod yr un o eiddo'r Septuagint yn llawn beiau; neu, yn hytrach, ar gyfrif fod y cyfiethiad hwn gan law ag oedd yn llawer mwy anghyfarwydd na'r sawl a weithiasai ar y Pentateuc. Hefyd yr Ebioniaid a'r Nazareaid a'i dewisasant o flaen pob rhai eraill. Symmchus a gyfansoddodd drydydd gyfieithiad tan deyrnasiad Severus. Fe ymddangosodd yn llawer eglurach, ac yn fwy defnyddiol na'r rhai hynny o'r blaen; o herwydd fod yr awdwr hwn yn cyfeirio mwy at yr ystyr, nag arwyddoccad geiriau. Y Cristionogion a wnaethant ddefnydd o'r holl gyfieithiadau hyn, er eu gwneud yn unig o ragfarn tu ag attynt, a chan ddysgawdwyr ag oedd yn eu hollol gâsau hwynt. Pa fodd bynnag, cyfieithiad y Septuagint a dderchafodd etto ei ben uwchlaw yr holl gyfieithiadau coeg-ddychymmygol eraill. Yn y cyfamser, y mae'n rhaid addef, ddarfod eu cymmeryd yn llaw i wanhau ei awdurdod, i luddias ei ddefnyddiad yn y synagogau, megis ag y gwnaethid hyd yn hyn, ac i rwystro'r Cristionogion, y rhai a ddadleuent â'r Iuddewon, i dynnu gwrth-ddadleuon allan o hono: canys, yn wir, y cyfieithwyr diweddaraf hyn a'u hyspeiliasent o ddoeth ymadrodd Esay; "Benyw a amgylcha wr," pen. vii. 14.

Pescennius Niger, wedi ei gyhoeddi yn ymerawdwr yn Syria, a ymdrechodd i ddwyn yr Iuddewon o'i ochr ef, ond fe'u cafodd yn ansigledig yn eu hymlyniad wrth Severus. Yr Iuddewon ag oeddynt yn trigo rhwng y Tigris ac Euphrates, a ddioddefasant lawer oddiwrth y rhyfel a ddygid ym mlaen rhwng yr ymddadleuwyr galluog hyn am y goron; yn enwedig gan orfod i Severus ddwyn arfau ym mlaen i'r dwyrain, yn erbyn brenin Parthia.

St. Jerom a ddywed, ddarfod cadw jubilee ar y ddeuddegfed flwyddyn o Severus. Yr amser nodedig hwn sydd neillduol i'r Iuddewon. Ond Scaliger sydd yn sylwi, mai pa ffordd bynnag y rhifom y blynyddau, na allai y jubilee Iuddewig ddigwydd ar y flwyddyn hon. Y Cristionogion a fenthyccasent y gair hwn o'r synagog. Ond etto nid jubilee yr eglwys ydoedd: a'r rhai a fynnent gyfeirio at ddechreuad yr un a gynhelid yn Rhufain, a'i chymharu â hon, a gamsyniant yn fawr. Ond Severus wedi rhoddi gorchymmyn i gynnal y campau gwladol yn yr ymerodraeth, y Cristionogion, y rhai a gyfrannogasant o'r ŵyl a'i galwasant yn Jubilee.

Caracalla a ddilynodd lwybrau ei dad; ac ni ellir ammeu nad oedd yn caru'r Iuddewon o'i febyd, gan i un o honynt yn y llŷs, yr hwn oedd gydchwarëydd ag ef, gael ei fflangellu wrth orchymmyn yr ymerawdwr, fe'i gofidiwyd ef mor fawr, fel na's mynai weled ei dad tros amryw ddyddiau. Felly gan nad ydym yn cael iddo weithredu yn erbyn yr Iuddewon, mae gennym reswm i gredu iddynt gymmeryd y fantais o gyfrwng o lonyddwch, i wneuthur eu casgliad o draddodiadau. Yr ydoedd dau fath o draddodiadau; rhai â pherthynas neillduol i'r Helenistiaid, a'r lleill ag oedd yn dderbyniol ym mhlith Hebreaid y Tir Sanctaidd, a'u

tarddiad oddiwrth y Phariseaid. Y traddodiadau blaenorol, wedi eu cyhoeddi gan yr awdwyr rhag-grybwylledig, oeddynt yn weithredol anadnabyddus ac yn wrthodedig gan y dysgawdwyr Tiberiaidd, pa ryw ddirmyg a chasineb o'r Groegiaid a chwanegodd yn feunyddiol.

Y traddodiadau Iuddewig a Helenistiaidd, erbyn yr amser hwn, oeddynt wedi tyfu yn lliosog; a'r dysgawdwyr a'r ysgrifenwyr o honynt nid yn ychydig. Yn y ganrif hon y blodeuodd yr enwog Jochanan, y pennaf o'r Amaraijen, neu esponiwr ar y Misnah, a chyfansoddwr Talmud Jerusalem. Y dychymmyg mwyaf tebygol ydyw, ddarfod ei eni ynghylch diwedd yr ail ganrif, neu fl. yr Arg. 184, neu 185. Rhai ysgrifenwyr a honnant ddarfod ei ddewis yn ben ar athrofa Tiberias, yn y bymthegfed flwyddyn o'i oedran, yr hyn sydd annhebyg ac yn wrthwyneb i arferiad yr Iuddewon, o herwydd fod ei athraw ei hun etto yn fyw; a Caniner, yr hwn a appwyntiodd yn ei le, a ddywedir gan yr amseryddion Iuddewig, iddo fwynhau yr urddas ynghylch deng mlynedd yn rhagor; fel y gellir meddwl mai'r amser cyntaf y dyrchafwyd ef i'r gadair ydoedd ynghylch y flwyddyn 225, ac o amgylch y ddengeinfed flwyddyn o'i oedran; erbyn pa amser yr oedd ganddo gyfleustra ddigon i orphen ei ddysgeidiaeth tan y ddau athraw hynny, i'r diben i'w gymhwyso i'r gwaith mawr oedd o'i flaen; ym mha un y cynnorthwywyd ef gan ddau o Rabbiniaid dysgedig eraill, R. Samuel, a Rab neu Raw, y rhai hefyd a fuasent yn ddisgyblion i'w ddau athrawon, Judah y Saint, a R. Chanina.

Yr hyn a ganlyn sydd fyr hanes o'r gwaith enwog hwn, a adnabyddir yn gyffredin wrth yr enw Hierosolymitân, neu Talmud Jerusalem.

Ystyr y gair Talmud yw Athrawiaeth, pa un a roddir yn bendant i'r gwaith hwn, megis ei fod yn grynhodeb neu gorph cyflawn o hono, neu o grefydd a moesau yr Iuddewon. Y mae ganddynt ddau o'r enwneu o'r arwyddoccâd hwnnw, sef, yr un yma o Jerusalem, yr hwn yw'r byrraf a mwyaf annealladwy o'r ddau; megis, hefyd, yr un mwy hynafiaethol o gan mlynedd; a'r un hwnnw o Babilon, am yr hwn y llefarwn yn ei le priodol. Eglurhad cymmwysiadol ydyw ar y Misnah perthynol i Judah Hakkadash.

Judah yn brin a orphenasai ei waith ei hun cyn iddo gael y siommedigaeth o weled casgliad o wahanol draddodiadau wedi eu cyhoeddi, a'u dodi i mewn ar ol hynny yn y Misnah: i feddyginiaetho, gan hynny, y niweid hwn, y tri gwŷr dysgedig yma a 'sgrifenasant eglurhad arno; yr hwn wedi ei gwblhau yn Judea, ac yn yr Hebraeg arferedig y pryd hwnnw, a alwyd Gemarrah, neu *Berffeithrwydd;* hwn a'r Misnah ynghyd, a wnaeth i fynu yr hyn a elwid Talmud Jerusalem.

Y Talmud hwn pa un a wahaniaethir wrth y titl Hierosolymitan, wedi ei gael eisoes yn rhy fyr, yn gystal ag annealladwy, trwy y rheswm o'r geiriau dieithr a fenthyccasai gan genedlaethau eraill, a roddodd fod i'r Talmud Babilonaidd, a gyfansoddwyd gan Rabbi Ase, disgybl dysgedig i'r enwog Jochanan, yr hwn a adawodd ysgoldŷ Tiberias, ac a aeth i mewn i'r un hwnnw yn Sara, gerllaw Babilon; lle y parhaodd mewn urddas ddeugain mlynedd; yn oed pa amser y cyfansoddodd ei Gemarrah, neu eglurhad ar Misnah Judah y Sant; ac oddi wrth y lle yr ysgrifenodd ef, fe ddaeth i gael ei alw yn Talmud Babilon. Ni fu Ase byw i'w orphen, ond fe gwblhawyd hynny gan ei feibion, a rhai o'i ddisgyblion; felly fe ddaeth yn gorph helaeth neu gasgliad o draddodiadau ynghylch cyfreithiau canonaidd yr Iuddewon; ac o'r holl gwestiwnau perthynol i'r gyfraith Iuddewig, lle'r oedd y Misnah yn destyn, a'r Gemarrah yn eglurhad arno.

Yr Iuddewon yn gyffredin a ddewisant y Talmud Babilonig hwn, ar gyfrif ei eglurdeb a'i gyflawnder, ymhell uwchlaw'r un hwnnw o Jerusalem; ac er ei fod yn llawn chwedlau a hanesion ofer-goelus, ni oddefant i neb gynnwys amheuaeth o hono, heb eu cyhuddo o heresi. Nyni a ymesgusodwn ynghylch rhoddi pellach hanes am y gwaith helaeth hwnnw, a dal sulw yn unig, ddarfod i'r dysgedig Maimonides roddi i ni dalfyriad rhagorol o hono, ym mha un y bwriodd allan y cwbl ag oedd yn blentynaidd a gwatworllyd, gan gyfyngu ei hun i wneuthur casgliad o'r achosion a'r penderfyniadau mwyaf neillduol a gynhwysid ynddo. Y talfyriad yma, yr hwn a eilw efe, "Yad Khazehah," neu *Llaw Gadarn,* sydd, gan hynny, yn rhagori llawer ar y Talmud ei hun, megis ei fod yn gorph cyflawnaf o gyfreithiau Iuddewig a ysgrifenwyd erioed.

Hyd yn hyn yr oedd yr Iuddewon wedi byw mewn heddwch a llwyddiant; ond a fuont agos i ddioddef erledigaeth arswydus y'nheyrnasiad Heliogabalus. Y tywysog chwimlyd hwnnw a barodd enwaedu arno, a'r hwn a ymgadwodd oddi wrth gig moch, o ran addoliant i'w dduwiau ei hun. Gallai fenthycca hyn oddiwrth yr Iuddewon, y'nghymmydogaeth pa rai y cawsai ei ddwyn i fynu, a chyweithasrwydd agos rhwng ei deulu â hwynt. Ond yr holl ragadnabyddiaeth yma ni allai eu diogelu rhag dioddef trais oddi wrtho ef, pe na buasai i farwolaeth ragflaenu.

Dywedir i ni gan Lampridius, ddarfod i'r tywysog hwn, wedi adeiladu teml barddwych er anrhydeddi Heliogabalus, orchymmyn i'r pethau hynny a gyfrifid yn gyssegredig gan y Rhufeiniaid gael eu symmud oll yno; gan benderfynu i Heliogabalus fod yr unig berson a addolid yno. I beri undeb yr addoliad yma yn fwy perffaith, fe ffurfiodd amcan o ddwyn i mewn grefydd y Samariaid a'r Iuddewon, y rhai a adwaenid yn dda ganddo. Yr oedd bywydau a meddiannau yr Iuddewon yn ymddibynnu ar gyflawniad yr amcan hwn, canys ni chydsynient un amser âg addoli'r haul yn nheml yr ymerawdwr, gyd â'r pentwr o seremoniau hynny o ba rai yr oedd ei grefydd yn gynnwysedig; ac ni allent ddisgwyl amgen na marwolaeth, â'r arteithiau mwyaf creulon, gan dywysog a gymharai hanesyddion i Nero, ac angheufilod eraill a lywodraethodd yr ymerodraeth. Marwolaeth annisgwyliadwy y tywysog hwn, pa un a laddwyd gan ei filwyr, a'u diogelodd rhag y niweid oedd barod i'w goddiweddu. Yn wir, fe ddywedir, i'r ymerawdwr yn unig ei amcanu,a sôn am ei wneuthur. Heblaw hyn, er danfon delw ei dduw gan Heliogabalus, a gorchymmyn ei gosod yn y senedd, uwchlaw buddugoliaeth, ïe cyn ei ddyfodfa i i Rufain; ac er bod historiäwyr yn adrodd am y gwastraffrwydd a wnaeth i anrhydeddu ei eilun hwn; etto'r oeddid yn gofyn amser i adeiladu'r deml, ym mha un y cysssylltid pob crefyddau. Eusebius a ddywed, na chodasid hi hyd flwyddyn ei farwolaeth; felly Duw wrth hynny a'u gwaredodd hwynt, yn gystal a'r Cristionogion, rhag fflangell ag oedd debyg i'w difetha hwynt.

Alexander Ieverus, trwy ei fwyneidd-dra, chwanegodd yn ddiau at gyflwr blodeuog yr Iuddewon; canys, yn wir, y tywysog hwn a ffafrodd y genedl yn gyhoeddus. Gwŷr doethion yr amser hwnnw a'i galwent yn Archsynagogydd Syria: o herwydd ei fod yn ffafru'r Iuddewon, yn anfon llythyrau attynt, ac a hyfforddwyd yn eu crefydd; o'r hon y derbyniodd rai diferion oddiwrth ei fam Mammæa. Yn wir yr oedd amryw grefyddau ym mhen y tywysog hwn. Ni ymadawodd fyth â duwiau ei dadau, nac eilun-addoliaeth y Cenhedloedd, pa un oedd etto yn rhagori: ond fe restrodd ym mysg y duwiau hyn Abraham, tad y ffyddloniaid, a phatriarch mawr yr Iuddewon. Fe ymddengys ei fod yn ei wneuthur yn unig i adnewyddu'r amcan a ffurfiasai Heliogabalus o gyssylltu Samariaid, Iuddewon, Cristionogion, a Chenhedloedd yn yr un deml; ond fe'i gwnaeth gyd â hynawsedd a dioddefgarwch.

Alexander Severus ydoedd am wneuthur enwau'r swyddogion a ddanfonid i'r taleithiau yn gyhoeddus, a rhoddi cennad i'r bobl eu cyhuddo hwynt: o herwydd, fel ag yr oedd yr Iuddewon a'r Cristionogion yn cyhoeddi eu hoffeiriaid i'r diben i'w hadnabod hwynt; yr ydoedd yn gymmwys gwneud yr un peth mewn perthynas i lywodraethwyr, y rhai a ymddiriedid â bywydau ac â meddiannau pobl. Yn ddiweddaf, efe yn fynych a cyflawnodd y rheol hon, pa un a ddysgasai oddi wrth yr Iuddew a'r Cristion: "Na wna i eraill yr hyn ni fynnet wneuthur i tithau."

Y tawelwch a fwynhawyd gan y genedl hon, a barhaodd trwy'r ymerawdwyr canlynol: Phylip, yr hwn a anwyd yn Arabia, lle'r oedd gan yr Iuddewon gymmaint o fasnach, a roddodd annogaeth iddynt. Decius,yr hwn a erlidiodd yr eglwys Gristionogol, oddiar gasineb i'r amddiffyn a roesai Phylip i'r genedl hon, a allasai ei chyd-gymmysgu â hwynt. Ond, heblaw y gwahaniaeth a wyddid fod rhwng y crefyddau yma â'u gilydd, ni ymddengys fod ganddynt un rhan yn yr erledigaethau byrion a thanbaid a ddygodd y tywysog hwn ar yr eglwys. Ac ni chyfrifir hwynt â rhan yn erledigaeth Valerian, nac fel awdwyr o hono: er i Dionisius ddywedyd, ddarfod i'r tywysog hwn gael ei gymmell iddo gan Arch-synagogydd o'r Aipht. Gallwn ym mhellach ddal sulw, eu bod yn gosod y

dysgawdwr Scesciath tu a diwedd y drydedd ganrhif. Yr oedd efe yn ddall, ond, er hynny, fe ddaeth yn dra dysgedig. Bu ymddadleu hefyd rhyngddo a'r Cristionogion. Dau waith a gyfrifir iddo ef; un ar ddirgel-ddysg yr Iuddewon, llaw-'sgrifen pa un ydoedd yn llyfrgell Heidelberg; y llall yn Targum, neu eglurhad Caldeaidd ar yr Ysgrythyrau.

---

*Ystâd yr IUDDEWON yn y Dwyrain.*

YR Iuddewon dwyreiniol a ffafrwyd yn fawr gan Artaxerxes, adferwr enwog unbennaeth Persia; ei fab a'i ddilynwr, Sapor, ydoedd hefyd dra chyfeillgar tu ag at y bobl erledigaethus hyn. Amryw wŷr dysgedig ym mysg yr Iuddewon ydoedd yn sefydlog yn y dwyrain, ac yn enwedig Samuel yr astronomydd, yr hwn a adawsai Judea, ac a ddaeth i sefydlu tan y llywodraeth hon oedd mor ffafrol i'w bobl ei hun. Ei glod yntau a dywyllwyd gan Ada, yr hwn a anwyd yn Babilon, ac a wnaeth gyfrifiad mwy cywir o gylchyniad yr haul na'r rhai o'i flaen. Yr ydoedd ynghylch yr amser hwn gynnifer o bersonau clodfawr am eu doniau naturiol, a'u cyrraeddiadau mewn dysgeidiaeth, fel y sefydlwyd ysgoldŷ trwy'r moddion o honynt hwy, ac fe'i cynhaliwyd gyd â pharchedigaeth nid bychan i'w athrawon.

Ni ddarfu i'r gwŷr doethion hyn fwynhau y fath lwyddiant digynnwrf ac amddiffyn tan Sapor, a than Artaxerxes. Sapor oedd yn cyfnewid llythyrau â'r Rabbiniaid, ac yn ymddadleu â hwynt; ac, o ddadleuwr efe a ddaeth yn erlidiwr. Wedi ei gynhyrfu gan yr Arabiaid, fe garcharodd dri o'r Iuddewon pennaf; a thrwy ffiangellau llymion, fe ymdrechodd i wneud iddynt ymwrthod â'u crefydd: ond hwy a ddioddefasant y cwbl gyd â pharhaus ymröad. Wedi ei siommi y modd hwn o eisiau llwyddo, fe garcharodd ei holl wŷr mawr, ac a'u poenydiodd yn ddirfawr: ond eu hachos a ddialwyd gan law anweledig. Nid oedd y Persiaid mor ddedwydd ag o'r blaen; yr Arabiaid a wnaethant ryfel â hwynt, ac a rwymasant eu tywysogion â chadwynau; brenin yr Arabiaid, hefyd, a ddanfonodd negesau at yr Iuddewon, gan ddywedyd, os symmudent i'r tiriogaethau hynny, y cyfarfyddent â charedigrwydd, amddiffyn, a llawn ryddid cydwybod. Y Persiaid, ar hyn, yn canfod y golled ag oeddynt debyg o fyned iddo, a esmwythasant ar dostrwydd yr erledigaeth, ac a ddaethant yn gyfeillgar, oddi ar annogiad o hunan-fantais, pa ryw egwyddor a lywodraetha ar bob tafodiaith a chenedl o ddynion. Trwy'r moddion o Zenobia yr hon a ellid ei galw brenhines y dwyrain, darfu i odidowgrwydd yr Iuddewon adfywio. Y dywysoges yma, yr hon a ddaeth mor enwog, a briodasai Odenatus, brenin Palmyra, a phennaeth y Saraceniaid yn y wlad honno, pa un ydoedd daith diwrnod yn unig oddiwrth Euphrates. Odenatus yn gweled pob peth yn plygu o flaen Sapor, a ddanfonodd anrhegion iddo, ac a 'sgrifenodd atto er tystiolaeth o'i ymostyngiad. Y concwerwr, yr hwn a dreiddiasai eisoes i Cappadocia, ac a gymmerasai Cæsarea, a rwygodd lythyr Odenatus, ac a barodd i'w anrhegion gael eu taflu i'r afon. Wedi ei gythruddo ynddo ei hun, a chan Zenobia, yr hon oedd dywysoges falchïaidd, efe a wnaeth gyngrair â'r Rhufeiniaid, a gyhoeddodd ryfel â Sapor, ac a ddaeth i amryw frwydrau, pa rai yn wastad a ynnillodd; ac a barodd i'r buddugoliaethwr hwn o gynnifer o daleithiau, roddi i fynu yr holl drysorau a bentyrrasai yn Syria, y'ngwersyll Edessa, i bwrcasu ei enciliad. Odenatus a'i herlidiodd ef, a ddifrododd Mesopotamia, a ymlidiodd wŷr ardderchog y ddinas amryw weithiau, y rhai ydoedd wedi ymgynnull i ymdrin a matterion y llywodraeth; ac a warchaeodd ddwy-waith ar ei elyn yn Ctesiphon. Ond ar ol amryw fuddugoliaethau, ac wedi ei gyhoeddi Augustus, Zenobia ei wraig, yr hon a fynnai hyn, a barodd iddo gael ei ladd, gyd â mab oedd ganddo o wraig o'r blaen.

Y dywysoges hon a ddygasid i fynu yn y grefydd Iuddewig, ac ydoedd yn broffes-wraig wresog o honi. Coffëir ddarfod iddi adeiladu amryw synagogau ardderchog; a derchafu'r Iuddewon i'r radd uchaf o anrhydedd. Ni ellir ammeu na ddarfu i'r Iuddewon wneuthur defnydd mawr o'i hamddiffyniad hi, a dyfod o honynt yn dra galluog yn y dwyrain tan Odenatus, ei gŵr, yr hwn a orchfygodd bob peth o'i flaen. Pan y daeth hi i'r orsedd, chwanegodd yr Aipht at ei buddugoliaethau; ymestynodd hefyd ei barfau hyd Asia leiaf, mor bell a Tyana

ac Ancyra, gan fyned ym mlaen i Bythinia, lle y cymmerodd Chalcedon.

Aurelian, ar yr amser hwn, pa fodd bynnag, a ddechreuodd adferyd achosion yr ymerodraeth y rhai a ddifethasai Zenobia. Cafodd fynediad i mewn i Bythinia, yr hon a wnaeth addefiad o'i llywydd blaenorol heb ddim gwrthwynebiad. Oddi yno fe ddaeth i Cappadocia; ac â phyrth Tyana wedi eu cau yn ei erbyn, efe a addunedodd ddïal ar yr holl drigolion. Zenobia a ddaeth i Antioch, o ba le yr aeth rhagddi gyd â'i lluoedd cyn belled ag Immes, yr hwn le nid oedd beil oddi wrthi. Y frwydr a ymladdwyd yn agos i'r afon Orontes. Lluoedd Aurelian a giliasant, fel y dodent wŷr meirch y frenhines, y rhai oedd wedi eu trwm arfogi, allan o anadl: a chan syrthio drachefn arnynt hwy a'u dodasant ar ffô. Zabdas yr hwn oedd yn blaenori tros y frenhines, yn rhagweled y byddai i Antioch gau ei phyrth yn ei erbyn, os gwybyddent ddarfod ei orchfygu, a wisgodd am ddyn, yr hwn, gan ei alw Aurelian, hwy a roddasant air allan, ei fod yn dwyn yr ymerawdwr gyd âg ef yn garcharor. Y ddyfais a ddeallwyd yn fuan. Ni arhosodd yn hwy yn Antioch nac i gymmeryd Zenobia gyd âg ef, ac encilio gyd â phrysurdeb.

Ail frwydr a ymladdwyd, ym mha un y drylliwyd byddin gwŷr meirch Aurelian: ond tra'r oedd y Palmyreniaid yn eu herlid, hwy a oddiweddasant y gwŷr traed, y rhai a wnaethant yn chwilfriw. Nid oedd nodded arall gan Zenobia na chaead ei hun i fynu yn Palmyra, yr hon oedd fanteisiol o ran ei sefyllfa. Y Persiaid, Saraceniaid, a chenedlaethau'r dwyrain, y rhai oedd etto yn blygedig i'r dywysoges hon, er ei hafiwyddiant, a geisiasant yn ofer ei chynnorthwyo. Y Persiaid a gurwyd, a'r Saraceniaid a orfu iddynt restro i mewn i fyddin Aurelian. Zenobia a ymadawodd yn ddirgel allan o'r ddinas, i ymofyn am gymmorth ym mysg y Persiaid. Ond fel ag yr oedd yn myned tros Euphrates, cennadwyr Aurelian, y rhai oedd yn ei herlid, a'i cymmerasant hi yn garchares. Palmyra a ymostyngodd. Zenobia a arweiniwyd yn gaeth, gyd â'i mab. Yr oedd wedi ei haddurno â meini gwerthfawr, ac yn marchogaeth ar gerbyd ardderchog, ym mha un y gobeithiasai wneud mynediad buddugoliaethus i mewn i Rufain; yn lle'r hyn y dygwyd hi i mewn yn gaeth-wraig. Cerbyd ei gŵr Odenatus ydoedd hefyd un o addurniadau buddugoliaeth Aurelian, yr hwn a ddygodd i'r amlwg pa beth bynnag oedd wych ac yn werthfawr yn y dwyrain; y rhai, trwy ei fuddugoliaethau presennol, a adchwanegodd at yr ymerodraeth. Zenobia a aeth i Rufain, neu yn hytrach i Trivoli, lle'r oedd ganddi faenol neu wladtŷ bychan, ac yn byw mewn neillduaeth: ac fel hyn y diflanodd y golewyrchiad yma o lwyddiant ac awdurdod y genedl Iuddewig; oddigerth gallu dywedyd i Vaaballat ei mab, i ba un y rhoddodd Aurelian ryw dywysogaeth yn Armenia, gofleidio crefydd ei fam, a ffafrio'r Iuddewon megis ag y gwnaeth hitheu; yr hyn sydd yn dra ansicr. Y rhan fwyaf o'r Iuddewon a giliasant i ddinasoedd Persia, lle y parhaodd eu dysgawdwyr mewn mesur o fri a chymmeradwyaeth. Gwnaethant ymffrost mawr y pryd hwnnw o un Chiia, mab Acse; yr hwn heb allu gorchfygu grym ei drachwant, a fwriodd ei hun i bob-tŷ myglyd.

Ar yr amser hwnnw yr oedd ymddadleuwr enwog, yr hwn nid yn unig a ddyrysodd y dysgawdwyr Babilonaidd, ond, er mwy cywilydd iddynt, fe wnaeth i'w wraig ymddadleu â hwynt, yr hon a elwid Jeremy, ac ydoedd alluog i ddosparthu dadleuon gorchestol. Dysgawdwyr eraill yno a dyrrasant i Sora, o herwydd fod ysgoldŷ Nahardea wedi syrthio gyd â'r ddinas, yr hon a gymmerasid ac a anrheithiwyd. Zira, a gyfenwid Hattina, ydoedd etto yno. Efe ar y cyntaf a adawodd ei wlad i fyned i astudio yn Tiberias, lle hefyd y derbyniasai arddodiad dwylaw; ond awdurdod a ffyddlondeb Huna a barodd ail-alwad iddo i'w athrofa, lle bu efe byw hyd y flwyddyn 300, pa amser, ac efe â dymuniad ganddo i adael i'w esgyrn orphwys yn Judea, fe ddewisodd yn hytrach ddwyn ei gorph byw yno, na'i adael i'w drosglwyddo gan eraill wedi ei farw. Felly er bod gan Iuddewon Babilon barchedigaeth mawr i'w gwlad, etto ni luddiodd hynny eu mynediad i fyned i astudio yn Judea, i ba le yr oeddynt yn gyffredin yn dychwelyd cyn eu marw. Ond yr un mwyaf clodfawr yn eu mysg oedd Manes. Ni's medrai efe mewn un modd gael ei gymmodi â chrefydd yr Iuddewon, nac â'r hyn a goffëid am eu cenedl yn difetha ac yn diwreiddio cynnifer o bobloedd a theyrnasoedd. Efe yn hytrach a ddewisodd

athrawiaeth yCristionogion, pa un oedd yn cymmeradwyo dim yn fwy na chariad acaddfwynder. Er hyn oll, bu ymddiddan mawr rhyngddo âg Iuddewonn Persia, â pha rai yr oedd yn mynych gyfnewid llythyrau, pa un bynnag ai ei fod yn bwriadu cael cyfarwyddyd mwy cyflawn yn y gyfraith, neu yn hytrach yn ewyllysio eu hadferyd o'u hanghrediniaeth a'u hynfydrwydd. Nid yw'r Inddewon diweddar yn cyttuno ynghylch ymddiddanion eu henafiaid â Manes; ac yn eu calender y maent yn gosod dechreuad y sect hon tu a diwedd teyrnasiad Constantin.

Ni niweidiodd erledigaeth Dioclesian yn erbyn y Cristionogion ond ychydig ar y genedl Iuddewig yn y dwyrain na'r gorllewin; er arwyddo gan rai o'r cyntaf iddo fwriadu gwneud iddynt deimlo y nodau mwyaf llym o'i ddigter, am waradwyddiadau a fwriodd disgyblion Judah y Sanct arno, ond iddynt gael moddion i ddyhuddo ei lid ef.

---

*Ystâd neu Gyflwr yr IUDDEWON tan Ymerawdwyr Cristionogol, &c.*

NI ddarfu i genedl yr Iuddewon fwynhau llawer ychwaneg o dawelwch wedi dyfod yr ymerawdwr yn Gristion, na than lywodraeth eulun-addolwyr proffesedig; er amrywio eu dioddefiadau yn ol tuedd y tywysog llywodraethol. Yr oedd y Cristionogion wedi eu harfer gymmaint i erledigaethau eu hunain, fel pan ddaethant i awdurdod, hwy a wnaethant ddefnydd ammhriodol o hono; ac yn lle cynnyrfiadau o dosturi, y rhai hynny o gasineb ac ymddial a lochesodd yn eu mynwesau; yr hwn ddull o weithredu ni ellir ei gymmodi oll â gwir natur eu crefydd, nac â chyfreithiau y dwyfol Awdwr o honi.

Zonaras yr histor̈iawr a ddywed, fod ganddynt gyd-ymddiddan â Helena, mam yr ymerawdwr hwn, pa un oedd etto heb droedigaeth. Hwy a osodasant o flaen y dywysoges hon, mai er bod rheswm gan ei mab i ddilëu Paganiaeth a'u heulynod, etto nad aethai ym mlaen mewn un peth mawr tu ag at ei iachawdwriaeth ei hun gan, yn lle gorchestwyr hynafiaethol Paganiaeth, ei fod yn addoli dyn a groes-hoeliesid ychydig o oesoedd a aethent heibio. Helena, yr hon oedd grefyddol, ac yn pryderu ynghylch iachawdwriaeth ei mab, a alwodd y dysgawdwyr i gyd-ymddiddaniad â'r Pab Sylfester, yr hwn yn fuan a orfyddodd elynion y grefydd Gristionogol. Fe ddywedir hefyd, ddarfod i Constantin erlid y rhai o'r enwaediad; canys y mae St. Chrysostom yn sicrhau, mai ar eu gwaith yn ymgynnull unwaith i ail-adeiladu Jerusalem, y tywysog hwn yn cashau y fath anturiaeth fyrbwyll, wedi dyfod ar eu gwarthaf, a barodd i'w clustiau gael eu torri ymaith, ac ar ol hynny fe'u gwasgarodd i'r holl diroedd yn ei ymerodraeth, fel cynnifer o gaethweision crwydraidd. Fe chwanega Eutychus, ddarfod i Constantin wneud iddynt oll gymmeryd eu bedyddio, a bwytta cig moch ar ŵyl y Pasg. Ni allai erledigaeth gael ei ddwyn ymhellach: ond yr wyf yn cwestiwno gwirionedd yr adroddiadau hyn.

Er bod Chrysostom mewn cyfrifiad mawr yn yr eglwys, yr oedd yn ddarostyngedig i gyfeiliornad; canys yr Iuddewon a ddywedant eu hunain, mai'r ymerawdwr Adrian, oedd yr hwn a barodd i'w clustiau gael eu torri ymaith, fel y caeth-weision a werthai mewn ffeiriau yn yr ymerodraeth. Heblaw hynny, Jerusalem a ailadeiladwyd tan ymerodraeth Cystenyn; ei hesgob a gynnorthwyasai y'nghyngor Nicea; a'r ymerawdwr a godasai y fath adeiladau ardderchog ynddi, fel y galwodd Eusebius hi yn ei ŵydd, y "*Jerusalem Newydd.*" Gallwn chwanegu, mai er bod cyfreith-lyfr Theodosius yn cynnwys llawer o gyfreithiau yn erbyn yr Iuddewon yn enw Constantin, etto nid oes un yn gorchymmyn fod iddynt "golli eu clustiau, cymmeryd eu bedyddio, neu fwytta cig moch."

Pa fodd bynnag, yr ymerawdwr hwn a gyhoeddodd amryw ordinhadau, y rhai sydd yn hyspysu i ni gyflwr a thymmer anesmwyth yr Iuddewon tan y teyrnasiad yma. Y cyntaf sydd un o'r pwys mwyaf: fe'i gosodwyd allan yn achos un Joseph, yr hwn a ymadawsai â'r synagog i gofleidio Cristionogrwydd. Yr Iuddewon wedi llidio wrth ei droedigaeth, a aethant i ymosod arno yn ei dŷ; ac wedi ei gael yn darllen yr efengyl, hwy a gymmerasant y llyfr oddi wrtho, a chan ei ammherchi â gwaradwyddiadau ac ergydion, hwy a'i llusgasant i'r synagog, lle y darfu iddynt yn annhrugarog ei

fflangellu ef. Ond heb foddloni â'r creulonedd cyntaf hwn, hwy a'i gwthiasant i'r afon Cnydus, fîrwd pa un a'i dygodd mor bell a pheri iddynt lawen-obeitho ei fod wedi boddi. Ond Duw a'i cadwodd ef. Fe dderbyniodd fedydd, a wnaeth ei hun yn adnabyddus yn y llŷs, ac a gafodd gennad yr ymerawdwr i adeiladu temlau mewn amryw fannau nad ydoedd rhai ynddynt o'r blaen. Yr Iuddewon a sefydlwyd yn Dioces-area, Tiberias, Nazareth, a Capernaum: a chymmwysasant ydinasoedd hyn yn y fath fodd iddynt eu hunain, fel na adawent ddieithriaid i ddyfod i mewn attynt, heb esgusodi hyd yn oed y Samariaid, y rhai oedd yn proffesu yr un grefydd. Joseph a gymmerodd yn llaw ddwyn y grefydd Gristionogol i'r holl ddinasoedd hyn-ny, ac i'r diben hwnnw fe adeiladodd eglwys ynddynt. Yr Iuddewon, er hyn oll, oeddynt yn alluog yn Judea, tan ymerodraeth Constan-tin, tra'r oeddynt yn unig yn meddiannu ped-air o ddinasoedd, un o ba rai ydoedd Nazareth. Eu hamldra a barodd iddynt ymddwyn yn drahaus, ac ammherchi y rhai a droent yn Grist-ionogion, gan wrthwynebu yn gyhoeddus y y gorchwyl o adeiladu temlau yn ol gorchym-myn yr ymerawdwr.

Ar gyfrif yr arweddiad annhrefnus yma, yr oedd Constantin, yn ddiammeu, yn gorfod cyhoeddi y gorchymmyn rhag-grybwylledig. "Fe'u cy-huddodd â llabuddio neu losgi pwy bynnag a amcanai ymwrthod â'u crefydd;" ac fe'u barn-odd hwynt i'r un gospedigaeth, gyd â'u holl gyd-gyfrinachwyr. Yn hyn yr ydym yn canfod nodau eu zêl orwyllt, pa un a dybient fod yn eu hawdurdodi i ladd rhai a ddelid y'nghyflawn-iad o droseddiadau erchyll. Hwy a ddychym-mygent mai dyma oedd reolau y gyfraith eneuol; ac a ddywedasant i Phineas gyflawni y gorch-ymmyn o enau Moses. Hwy a ddygasant siampl arall ger bron y Maccabeaid, pan y lladdodd Matthias Iuddew, yr hwn oedd yn yn cyflawni defodau Cenhedlig. Y dysgawdwyr a gymmeradwyasant yr ymarferiad hwn; canys ni ammheuai Philo nad ydoedd wedi ei ordein-io gan Dduw. Yr Esseniaid a orchymmynent, os caed neb a gablai yn erbyn Moses, am ei ladd ef. Dywed Josephus eu bod yn ei "gospi ef â marwolaeth." Y dehonglydd a'i cyfieithodd yn ammhriodol; canys dylasai fod, "hwy a'i heuog-farnent i farwolaeth." Canys fel nad oedd gan y blaid hon un awdurdod o fywyd a marwolaeth, hwy a gospent gablwyr oddiwrth gynhyrfiad eu zêl.

Er mor ofnadwy oedd yr annhrefn, a'r llifeir-iant o waed a dywalltodd y brwd-frydwyr yn Jerusalem; etto'r egwyddor arswydus hon oedd mewn bod hyd yn bresennol: a'r Misnah sydd yn dysgu, os bydd rhyw un yn "ymwrthod â'r sylfeini," hynny yw, articlau y ffydd, y dylid ei ladd ef: ac, yn ganlynol i'r egwyddor hon, hwy a labyddient, a losgent, ac a foddent y rhai a'u gadawai yn nheyrnasiad Constantin. Hyn a barodd iddo wrthsefyll y trais hwnnw; ac megis nad ufuddhasant i'r gyfraith gyntaf, gorfu iddo ei chyhoeddi yr ail waith. Efe hefyd a wa-harddodd i Gristionogion droi yn Iuddewon, tan boen o gosbedigaeth farnol. Yr ydoedd mwy o berygl mewn perthynas i gaeth-weision, y rhai a ellid eu dwyn trosodd gan eu meistr-iaid: ac, o herwydd hynny, a gyhoeddodd gyfraith, chwe mis cyn ei farw, yn gwahardd yr Iuddewon i enwaedu ar rai yn eu gwasan-aeth; a chaniattâu rhyddid i'r rhai a achwynai ddarfod i'w meistriaid enwaedu arnynt, neu a gofleidient Gristionogrwydd.

Yr ymerawdwr a ordeiniodd ymhellach i wneud o'r Iuddewon ddengwriaid, oblegid ei fod yn addas iddynt gyfranogi o feichiau'r lly-wodraeth gyhoeddus; ond efe a esgusododd y patriarchiaid a'r offeiriaid, a'r rhai oedd â swyddau o bwys ganddynt yn y synagogau, ar gyfrif eu bod yn analluog, trwy eu perthynas yno, i gyflawni dyledswyddau mewn lleoedd eraill. Canys, yn wir, nid oedd y sefyllfa o ddengwriad yn swydd o anrhydedd, ond o was-anaeth. Pawb a ymdrechent i fod yn rhydd oddi wrthi, trwy gymmeryd swyddau eraill yn y fyddin neu'r llywodraeth.

Hwy a ymdrechent i esgusodi eu hunain trwy ryw ragorfraint a ddeisyfent gan yr ymerawdwr. Constantin a gyfranodd gynnifer o honynt, fel nad oedd neb i lenwi y swyddau yma yn amser Julian, yr hyn a wnaeth iddo eu diddymmu oll yn ddilysiant: a hyn a barodd achwyniad yn ei erbyn, hyd yn oed ar ol ei farwolaeth, tra'r oedd eraill yn ei ganmol o'i herwydd. Nid oedd ryfedd, gan hynny, i Constantin, yr hwn ni charai yr Iu-ddewon, wneuthur dengwriaid o honynt.

Yn y teyrnasiad hwn y bu'r cyngor yn Elvira, lle y gosodwyd allan ddau orchymmyn yn erbyn Iuddewon yr Yspaen, yn mha ryw wlad yr oedd cyfeillach mawr rhyngddynt â'r Cristionogion. Hwy a fwyttaent ac a gyd-fywiolaethent yn gymdeithasgar: ond y cyngor a waharddodd y gyweithas fyrddiol hon, tan boen o ysgymmundod i'r sawl a fwyttai gyd âg Iuddew. Y gospedigaeth oedd ofidus ac o osodiad anghall, gan nad oedd cyd-fwytta ond gweithred gyffredin a moesol; ac na ddylid cyhoeddi ysgymmundod ond am feiau eglwysol. Esponiwr dysgedig y cyngor yn Elvira a haerai, ddarfod i gyngor Nicea orchymmyn yr un peth yn un o'i ddeddfau, wedi eiluniaethu gan Osius, y llywydd; a'r hwn oedd am i'r ddisgybliaeth gael ei derbyn i eglwysi yr Yspaen, ac i bob rhai eraill. Ond Mendoza a gamsyniodd; oblegid y canon a goffâwyd ganddo ef, ni wnaethpwyd gan gyngor Nicea. Efe a'i cymmerodd oddiwrth yr Arabiaid, y rhai a gamgyfrifasant i'r cyngor hwn ganonau na luniwyd erioed ganddo. Ac nid ydym yn medru deall meddwl yr Arabiaid wrth eu gwaith yn coffâu yr apostolion yn eu gorchymmyn; canys yr oedd St. Paul mor bell oddiwrth feio ar gyweithasrwydd moesol, fel ag y gwnaeth efe ei hun "yn bob peth i bob dyn; yn Iuddew i'r Iuddon, ac yn Roegwr i'r Groegiaid." Os ymofynwn â'r canonau sy'n dwyn enwau y gwŷr sanctaidd hyn, ni a gawn nad ydynt ond yn unig yn beio ar usuriaeth, heb wahardd cyd-fwytta neu gymdeithasu ag Iuddewon. Recardoe, yr hwn a adnewyddodd orchymmyn cynghorfa Elvira, ac a'i hamddiffynodd â'i resymau wedi eu seilio hefyd ar eiriau St. Paul, yr hwn a ddywed fod "pob peth yn anmhur i'r halogedig a'r di-ffydd." Oddiwrth yr hyn y casglodd, gan fod yr Iuddewon yn anmhur, y rhaid i'w bwydydd fod felly hefyd. Ond hwn sydd reswm gwan ac annibenus. Yr unrhyw gyngor, trwy orchymmyn arall, a waharddodd "berchenogwyr tiroedd i oddef i'w ffrwythau gael eu bendithio gan yr Iuddewon, o herwydd fod eu bendith hwy yn dirymmu'r un o eiddo y Cristionogon; ac a fygythiodd yn bendant fwrw allan o'r eglwys y rhai na ufuddhaent iddo." Y ddefod hon o fendithio ffrwythau'r ddaear ar dymhorau nodedig ydoedd gyffredin i Baganiaid ac Iuddewon, yn gystal a Christionogion. Ond pwy a fuasai yn dychymmygu y gwnaethai'r diweddaf ddefnydd o un o'r rhai cyntaf, pe na's gwnaethai y gorchymmyn hwn ni yn hyspys o hono? Pa fodd bynnag, hwn a'r gorchymmyn arall a ddengys yn eglur ddarfod i'r Iuddewon fyw yn dra heddychlon yn yr Yspaen, ac mewn cydgordiad â'r Cristionogion, hyd yr amser hwnnw, pa fodd bynnag y gwnaethant yn ganlynol.

Yn y dwyrain, ni fwynhaodd yr Iuddewon lai disgleirdeb o lwyddiant; a'u hathrofeydd a aethant ym mlaen mewn modd blodeuog; os esgeuluswn yr erledigaeth a godwyd yn erbyn un o'u hathrawon pennaf. Hwn ydoedd yr enwog Ravena, neu Rabba Nachmanides, pennaeth ysgoldŷ Sora. Y maent yn crybwyll am ddau wr enwog o'r enw hwnnw; un o hynafiaeth, a'r llall yn ddiweddarach. Yr olaf oedd yn byw yn y flwyddyn 474; ond y llall a fu farw o flaen y cyngor yn Nicea yn 322. Yr oedd efe mor barchus ag y cyfrifent fod deuddeng mil o ddisgyblion yn ei athrofa ef. Fe'i gelwid yn gyffredin yn Symmudwr Mynyddoedd. Nid fod ganddo y gallu i wneuthur gwyrthiau, a symmud mynyddau i ganol y môr; ond mor fawr oedd ei wybodaeth, ag i fedru amlygu y dirgelion mwyaf. Efe a ysgrifenodd lyfr, pa un oedd a derbyniad mawr iddo yn amser ei fywyd, ac wedi ei farwolaeth. Esponiad ydoedd ar lyfr cyntaf Moses, yn cynnwys hanes y Tir Sanctaidd, gyd â'r ystyr lythyrenol a dirgelaidd. Ei ditl ydoedd Bereschit Rabba. Dylid peidio ei gymmysgu â gwaith arall o'r un enw, yr hwn sydd eglurhad ar Misnah Judah y Sanct, wedi ei gyfansoddi gan un o'i ddisgyblion.

Wedi bod yn addysgu yn hir yn ysgoldai Babilon, Ravena a gyhuddwyd o amryw feiau gan frenin Persia. Yr ofn o'i gymmeryd a'i farnu i farwolaeth a barodd iddo ffoi, ac ymguddio ei hun; a bu farw yn ei enciliad. Fe ddywedir ei wneud yn garcharwr, a bod Sapor ynghylch ei euog-farnu; ond ddarfod i'r ymerodres, ei fam ef, ddanfon i ddywedyd wrtho, "na fyddai ddim a wnelai â'r Iuddew hwnnw, o herwydd iddi oddef llawer o'i achos ef." Pa fodd bynnag, nid oedd yr erledigaeth yn gyffredin; canys yr oedd yr athrofeydd yn flodeuog yn Babilon, a'r parthau cymmydogol. Ravena a adawodd nai iddo o'i ol, yr hwn a alwodd Avii, am ddau reswm;

un ydoedd ei amcan i arwyddo ddarfod ei gael yn ymddifad, ac iddo ef ei gymmeryd i'w ymgeleddu o ran elusen: y llall ydoedd, na's mynnai iddo fyned wrth enw ei daid Nachman, rhag ar ol hynny i'r nai gael ei gywilyddio â'r ewythr, a'r disgybl â'i athraw. Efe a wnaeth y fath gynnydd oddiwrth wersi Ravena, fel y daeth yn ben ar ysgoldŷ Pundebita, yn y flwyddyn 325, yr hwn a lywodraethodd hyd 339. Tua diwedd ei fywyd, fe briododd weddw, o'r hon y cafodd fab, yr hwn a adwaenir wrth yr enw Raubibi, yn ysgrifeniadau yr amserau hynny.

Yn ysgoldŷ Sora yr ydoedd athraw hefyd, Joseph y Golenni Mawr, neu Segi Nahor. Yr ydoedd yn ddall, er hynny yr oedd yn un o wybodaeth mawr. Fe'i cyfenwid hefyd Sinai, o herwydd ei fod yn gwybod i berffeithrwydd am yr holl draddodiadau a gyfranwyd i Moses ar fynydd Sinai. Meddylir ei fod ef yn awdwr y deongliad Caldeaidd ar lyfrau rhai o'r ysgrifenwyr sanctaidd, megis y Salmau, y Diarhebion, y Pregethwr, y'nghyd â Ruth ac Ester. Yr esponiad hwn a werthfawrogir, os gellir barnu wrth nifer ei neillduol argraphiadau.

---

### *Cyflwr yr IUDDEWON yn y Dwyrain.*

PAN oedd yr Iuddewon wedi eu gosod tan amryw rwymiadau creulon gan Constantin, yr oeddynt yn flodeuog yn y dwyrain, a'u hathrofeydd o ddysgeidiaeth a gynnyddodd mewn cyfrifiad. Ar ddiwedd teyrnasiad Constantin, hwy a wnaethant eu rhan yn llŷs y Persiaid tu ag at ddial eu hunain am yr hyn a ddioddefasent yn yr ymerodraeth Rufeinig, trwy godi erledigaeth creulon yn erbyn Cristionogion y dywrain.

Yr oedd crefydd yr Iesu ryw amser o'r blaen wedi cynnyddu yn Armenia. Fe ddywedir i ni ddarfod i un o'i brenhinoedd, a elwid Tiridates, gofleidio Cristionogrwydd. Oddi yno yr aethai ym mlaen at y Persiaid, y rhai oedd a chymdeithasrwydd mawr rhyngddynt â'r Armeniaid. Hwy a ddechreuasant adeiladu eglwysydd, a chyssegru offeiriaid. Yr ydoedd hefyd esgobion yn y ddwy ddinas, Seleucia a Ctesiphon, y rhai oedd y mannau mwyaf cyfrifol o'r wlad. Yr Iuddewon oedd yn lliosog yno, o herwydd, fel y sylwia Jerom, yr oeddynt yn byw yn llonydd ac yn ddigyffro, ac heb eu herlid gan neb o frenhinoedd Persia. Fel yr oeddynt yn eiddigeddu wrth lwyddiant Cristionogrwydd, hwy a rwgnachasant: ond pan welsant Ustazades, un o efnuchiaid pennaf Sapor yn troi yn Gristion, ni arosasant yn hwy o fewn y terfynau, eithr hwy a ymroesant i wneuthur cyngrair â'r Magi.

Simeon, esgob Ctesiphon, a gyhuddwyd o fod yn dwyn cymdeithas ym mlaen â Constantin, yr hyn oedd ddigonol i'w ddifetha ef. Yr esgob hwn a wrthododd addoli yr haul a'r brenin, pan ddygwyd ef at droedfaingc ei orsedd. "Mi blygais gynt fy nglin (eb efe) o flaen eich mawrhydi, o herwydd im' ei wneud yn ewyllysgar, ac fel dyledswydd o foesgarwch; ond ni's gallaf ei wneuthur pan ydych yn ei orchymmyn fel gweithred grefyddol, ac a fynnech wneuthur i mi wrth hynny wadu fy Nuw." Y brenin wedi ei gyffroi i gynddaredd wrth hyn, a barodd ei rwymo wrth gadwyn mewn daear-dŷ. Yr Iuddewon a'r Magi yn cymmeryd mantais oddiwrth yr achlysur hwn, a dynnasant i lawr yr holl eglwysydd Cristionogol. Yr erledigaeth a fu'n hir ac yn waedlyd: Ustazades, hen efnuch i Sapor, ac yn enwog o ran ei wasanaeth, oedd hefyd un o'r merthyron cyntaf a ddioddefodd tano. Constans wedi llidio wrth yr Iuddewon, a chan fod, gyd â'r cwbl, yn wresog tros y grefydd Gristionogol, a wnaeth ryw gyfreithiau yn eu herbyn. Y mae, ebe St. Hilary, yr hwn oedd yn byw yr amser hwnnw, orchymmyn o eiddo'r ymerawdwr, ag sydd yn eu lluddias yn bresennol i gael mynediad i mewn i Jerusalem. Y mae'n gwneud iddynt dramwy ar furiau y ddinas fawr honno, heb gael mynediad iddi. Hwy a achwynasant wrth Julian pan y daeth i'r orsedd, oblegid eu triniaeth galed honno; trwy eu caead allan o byrth y ddinas a fuasai yn drigfa eu henafiaid tros lawer o oesoedd. Hyn oll sydd yn rheswm a ddengys, ddarfod i Constans adnewyddu gorchymmynion Adrian, neu wneuthur o hono rai newyddion i'r un pwrpas. Y tywysog hwn hefyd a'i gwnaeth yn farwolaeth i Iuddew briodi un o'r Cristionogion, neu enwaedu ar un o'r caeth-weision. Efe hefyd a waharddodd iddynt fod â Christionogion yn eu gwasanaeth: ac yn enwedig fe waharddodd, tan gosp fawr, ymuno a'u crefydd hwynt. Felly os byddai

ganddynt ryddid cydwybod iddynt eu hunain a'u hiliogaeth, na chaniattaed iddynt dderbyn proselytiaid pan ymgynhygient. Fe'u beichiodd hwynt hefyd â threthi, ac a luniodd rai newyddion yn eu herbyn cyn ei farw. Tan y teyrnasiad hwn y dychwelwyd Epiphanias oddi wrth Iuddewiaeth at Gristionogrwydd; nid (fel yr adroddir) heb gyfrwng o ryw amgylchiad anarferol, â'r hyn ni fydd i ni flino ein darllenwyr, gan nad oeddynt yn ddigon effeithiol i'w gadw rhag rhedeg i wyllt ddychymygion y Gnosticiaid, pa rai a gyfarfu â hwynt yn yr Aipht.

Yr Iuddewon yn ol hynny a esmwythawyd arnynt gan Julian, a elwid y dirywiwr, yr hwn a'u hamddiffynodd hwynt, gan nad oeddynt yn addoli ond un Duw, ac yn ffieiddio eilun-addoliaeth y cenhedloedd; ond yr oedd yn caru chwanegu at nifer gelynion Cristionogrwydd, yr hyn a dybiodd yn fwyaf arswydol, gan ddodi'r holl grefyddau i ryfela â'u gilydd, fel y gallai paganiaeth ymorfoleddu y'nghanol yr ymrysonau hyn. Fe ryddhaodd y rhai o'r enwaediad oddiwrth y trethoedd, â pha rai y beichiwyd hwynt gan Constans. Fe ysgrifenodd attynt, ac yn ei lythyr a anrhydeddodd eu patriarch â'r enw o frawd; yr hyn sydd yn brawf eu bod y pryd hynny mewn cymmeradwyad yn yr ymerodraeth. Rhoddodd iddynt ryddid i aberthu, ac ail-adeiladu y deml yn Jerusalem, o herwydd dangos o honynt iddo na's gallent aberthu allan o'r wlad sanctaidd. Hwy a gymmerasant iddynt eu hunain fantais oddi wrth amddiffyniad yr ymerawdwr i ddirmygu'r Cristionogion; canys hwy a ymgasglasant yn amryw o ddinasoedd Judea a Syria, gan dynu i lawr eu temlau yn Gaza, Ascelon, a Berytus, a dadymchwel dau yn Damascus. Iuddewon yr Aipht a wnaethant yr un peth; a'r rhai godidoccaf o'r holl demlau yn Alexsandria a ddifethwyd. Hwy a gwympasant i ail-adeiladu y deml yn Jerusalem; ond y ddamwain hon, pa un adroddir gan haneswyr, gyd âg amryw amgylchiadau perthynol iddi, sy'n haeddu sulw mwy neillduol.

Y tywysog hwn a roddodd awdurdod iddynt, nid yn unig i adeiladu'r deml, ond hefyd a'u diwallodd â defnyddiau ac arian. Jerom, wrth lefaru am yr Iuddewon yn ei amser ef, a ddywed, ddychymygu o honynt mai ym mhen y pedwar cant a deg mlynedd ar hugain ar ol eu gwasgariad, eu bod i feistroli ar y Rhufeiniaid, eu gwerthu i'r Sabeaid, ail-adeiladu Jerusalem, a'i hadferyd i'w gogoniant cyntaf; y byddai i'r maes-drefi, a'r dinasoedd cymmydogaethol, heb esgeuluso Sodom ei hun, gael eu hail-adeiladu. Y sail i hyn oedd ganddynt oddiwrth amryw oraclau neu fynegiadau, yn addaw y byddai i Dduw ddïal ei bobl ar eu gelynion, ac adferyd Seion. Pan welsant Julius yn rhagofalu am eu llafur ynghylch yr adeiladaeth hon, hwy a dybiasant gyflawni yr addewidion. A gofynasant mewn ffordd o wawd i'r Cristionogion, a barent hwy i offerynau aur ac arian gael eu gwneuthur, i weithio â hwynt ar yr adeiladadaeth hon. Y gwragedd â'r plant a fenthyciasant gynnorthwy eu dwylaw, a'r Cenhedloedd eu hunain a'u cynnorthwyasant i adferyd eu teml. Ond o'r diwedd, fe roddwyd attalfa effeithiol arnynt trwy'r fath ddamweiniau aruthrol ag a'u llwyr-ddigalonodd i fyned â'r gwaith ym mlaen; ac a wnaeth iddynt deimlo anwrthwynebol ragfynegiad Crist yn erbyn y lle hwnnw. Daeargrynfeydd ofnadwy, a thorriadau o dân allan o'r ddaear a rwystrodd y gweithwyr wrth gloddio am sylfeini i'r deml newydd, ynghyd âg amryw ddigwyddiadau eraill, fel y dangosir yn helaeth y'ngwaith yr Esgob Warburton.

Yr ymerawdwr Julian, yr hwn a ganiattasai ail-adeiladu'r deml, cyn ei ymadawiad i Persia, a ddygodd ei fuddugoliaethau yn dra phell. Fe gafodd yno ran o'r deg llwyth yn meddiannu dinas gyfan. Historïawyr a sylwiant, ddarfod i'r tywysog hwn, wedi dyfod i Mesene, yr hon sydd ynys wrth y Tigris, ac Apamea ynddi yn dwyn gradd oruchel; fyned rhagddo at balas, lle'r oedd Euphrates yn ymrannu yn amrywiol ganghenau, a chael o hono ddinas a elwid Bithra, yr hon a breswylid gan Iuddewon, y rhai a'i gadawsent, o herwydd nad oedd y muriau yn ddigon uchel a chadarn i oddef y cynllwyn.

Y ddinas hon a fuasai o gyfrifiad yn ymerodraeth Persia, gan fod palas yr ymerawdwr, a thai i lettya gwersyllwyr i'w gweled ynddi. Byddin Julian yn ei gweled wedi ei gadael, a'i gosodasant ar dân, ac a'i gwnaethant yn lludw. Nid oes le i ammeu nad Iuddewon o'r deg llwyth ydoedd y rhai hyn wedi eu gwasgaru

yn y dwyrain, gan fod eu sefyllfa rhwng rhedfeydd yr Euphrates. Yr oeddynt yn lliosog ac yn oludog yno, gan eu bod yn meddiannu dinas gyfan. Yr oeddynt hefyd yn ffyddlon i'w tywysog, canys hwy a ddewisent yn hytrach adael y cyfan, nag aros i ddisgwyl am y Rhufeiniaid, y rhai a elwasent wrth iddynt barhau yno.

Yn y rhyfel hwn, wedi lladd Julian, Jovian ei ddilynwr a orfu iddo geryddu y trahausdra a barasai ffafr yr ymerawdwr diweddar i feddiannu'r Iuddewon a'r Cenhedloedd trwy'r ymerodraeth Rufeinig. Hyn a wnaeth, ond ei deyrnasiad ydoedd, fel yr edrychasant arno megis cwmmwl buan yn myned heibio; a hynny yn hytrach oblegid i Valens adferyd cyflawn ryddid cydwybod i holl elynion y grefydd Gristionogol, yn Genhedloedd, Iuddewon, a Hereticiaid. Gwnaeth hefyd ryw beth yn rhagor; canys Valentinian ac yntau a gynnaliasant yr Iuddewon a'u patriarchiaid mewn meddiant o'u rhagorfreintiau.

Cyfraith y ddau dywysog hwn sydd wedi myned y'ngholl; ond gan fod Arcadius yn ymlynu wrth eu siampl yn cadarnhau yr holl ragorfreintiau hynny, ni's gellir ammeu nad hwy a'i gwnaethant. Pa fodd bynnag efe a ddiddymmodd un o'u manteision mwyaf, wedi iddo eu darostwng i swyddau cyffredin, a galw yn ol y cyhoeddiadau blaenorol oedd yn eu hesgusodi hwynt. Geiriau'r tywysog oedd nodedig, o herwydd eu bod yn dangos nad oedd yr eglwyswyr yn mwynhau rhagorfraint mor fawr ag a feddylir yn bresennol. "Y gorchymmyn hwn, trwy ba un y mae'r Iuddewon yn gwenhieithio iddynt eu hunain eu bod yn cael eu hesgusodi oddiwrth swyddau'r llŷs, a ddirymir trwy'r gorchymmynion hyn; canys ni channiatteir i'r eglwyswyr gyssegru eu hunain i wasanaeth Duw heb dalu yn gyntaf yr hyn sydd ddyledus i'w gwlad; a'r hwn yn wirioneddol sydd yn rhoddi ei hun i Dduw, a ddylai roddi dyn i lenwi i fynu ei le mewn swyddau gwladol a chyhoeddus." Er na ddirymodd Theodosius y gyfraith hon o eiddo Valens, yr hon a ddodwyd mewn grym tan deyrnasiad Arcadius, etto'r Iuddewon oedd yn ddedwydd ddigon yr amser hwnnw.

Maximus, wedi gwrthryfela yn y dwyrain, a gwneuthur i Valentian ddeisyf amddiffyniad gan Theodosius, yr hwn oedd y pryd hwnnw yn Hyricum, a farnodd yn fwyaf manteisiol i ennill yr Iuddewon, a'u dwyn trosodd o'i blaid ef. Efe, nid yn unig a'u ffafrodd hwynt, ond wedi deall ddarfod i'r bobl losgi un o'u synagogau yn Rhufain, fe orchymmynodd am ei hailadeiladu. Yn wir, teyrnasiad Maximus ydoedd fyr: Theodosius wedi mynych orchfygu ei wŷr, a barodd dorri ymaith ei ben yn Aquileia, ac a ddaeth ar ol hynny i Milan, lle y darfu iddo ef a Valentian ddirymu yr holl orchymmynion a gyhoeddasant. Ond fel yr oedd y gorchymmyn am ail-adeiladu y synagog yn Rhufain yn ordinhad neillduol, a Theodosius yn cael ei berswadio na ddylid ymddifadu yr Iuddewon o'u lleoedd o addoliad, fe ammheuir pa un a ddarfu iddo ddiddymmu y gorchymmyn hwn y'nherthynas i'r Iuddewon.

Er bod St. Ambrose yn wir yn dra eiddigus o'r Iuddewon, ac yn gwrthwynebu yn gadarn adeiladu synagog arall yn lle'r un a osodasai y Cristionogion ar dân yn Calinicum, a'r hwn a orchymmynasai Theodosius ei ail-adeiladu ar eu cost hwynt; ond pan y mae Zonares, mynach Groegaidd, a rhai ysgrifenwyr diweddarach eraill, yn crybwyll am ei bregeth o'i flaen, yn gosod tasc iddo, ac yn ei waradwyddo am ddioddef i'r Iuddewon i fwynhau y rhagorfraint o gael synagog yn ei brif-ddinas; hyn oll sydd ddywediad ffol ac anwireddus. Ni ddarfu iddo bregethu ond ysgrifenu atto ef, a'i lythyr sydd ar gael hyd yn bresennol; yn arwyddo fod yr Iuddewon mor bell oddiwrth ystyried eu hunain yn rhwym i sylwi ar gyfreithiau y Rhufeiniaid, fel ag yr oeddynt yn ei gyfrif yn feius i ymostwng iddynt. Y gwrthwyneb i hyn, pa fodd bynnag, a ymddengys oddiwrth yr hyn oll a ddywedasom hyd yma am y gorchymmynion a osodwyd allan trostynt ac i'w herbyn hwynt; a llawer yn rhagor oddiwrth y gyfraith newydd a gyhoeddodd y tywysog hwnnw y flwyddyn ddiweddaf o'i fywyd, yn erbyn zêl ammhrydlon rhai Cristionogion, y rhai tan rith o grefydd a anrheithiodd ac a ddifethodd eu synagogau, yn wrthwyneb i'r cyfreithiau oedd yn caniattau iddynt ryddid cydwybod, ac yn cospi y fath droseddwyr tros yr amser i ddyfod. Efe hefyd a ganiattaodd iddynt gyfreithlonrwydd neillduol ar gyfrif y cŵynion oedd ganddynt yn fynych, un ai yn eu plith eu hunain,

neu rhyngddynt â'r Cristionogion, trwy'r hyn yr oeddynt nid yn unig yn rhydd oddiwrth flinder a chost mewn ymgais am gyfiawnder gan farnwyr dieithr, ond a fyddent debyg o'i gael yn haws gan swyddogion gwladol o'u trefniad eu hunain; pa ryw freintiau oll a ganiattaed yn brin iddynt, os, fel y dywedir i St. Ambrose haeru, olygu o honynt ymostyngiad i gyfreithiau'r ymerodraeth yn drosedd.

Fe ymddengys nad oedd y cyfryw ragfarn gan St. Jerom yn erbyn dysgawdwyr y genedl hon, a St. Ambrose; canys efe, i'r gwrthwyneb, a wnaeth ganiattad blynyddol iddynt, ac a wnaeth ddefnydd o'u hyfforddiad tu ag at ddeall y dafodiaith Hebraeg, a'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Y tad eglwysig hwn, wedi barnu iddo gymmeryd gormod o ddiddanwch yn darllen Cicero a Virgil, (nid ydych chwi Gristion, ond Ciceroniad, ebe rhyw farnwr wrtho) a newidiodd ei feddwl am yr Hebreaid, a ddysgodd eu hiaith gyd âg anhawsdra, a ymgynghorodd â'u doctoriaid, a astudiodd tanynt, ac a ddefnyddiodd eu cynnorthwy y'nghyfieithiad yr Ysgrythyr i'r iaith Lladin. Mae fe'n hyspysu i ni, mai i attal gwylltineb ei ieuengctyd, iddo ddodi ei hun tan ddisgybliaeth gwr ieuangc o Hebread, yr hwn a droasai yn Gristion, ac iddo fyned i lafur mwy na chyffredin yn addysgu iaith ddieithr. Ac ni foddlonodd ar hyfforddiad yr Iuddew dychweledig hwn, ond a gymmerodd atto un arall; yr hwn a'i hoffodd gymmaint, fel ag yr aeth i ymofyn y llyfrau o'r synagog, tan yr esgus o'u darllen, ac a'u dygodd at ei ddisgybl. Yr athraw hwn ydoedd yn un cywrain, a St. Jerom a goffäodd rai o'i esponiadau. Efe a ddanfonodd am drydydd o Tiberias, yr hwn a ddefnyddiodd i ddiwygio, wrth yr Hebraeg, ei gyfieithiad o'r Croniclau, yr hwn a wnaethai o'r Septuagint. Dywed, ddarfod rhyfeddu yr athraw newydd hwn gan y synagog. Danfonodd etto am y pedwerydd o Lydda, i'r hwn y talodd yn ddrud, o herwydd ei fod yn ŵr dysgedig, ac a ddehonglodd y traddodiadau yn y synagog. Hwn ydoedd y Rabbin a'i cynnorthwyodd i gyfieithu llyfr Job. Yr ydoedd achos arno am gynnorthwy newydd i ddeall Daniel a Thobias, oblegid yr ymadroddion Caldeaeg sydd yn wasgaredig trwy'r llyfrau hyn. Ond fel yr oedd efe yn llafurio gyd â diwydrwydd mawr, ni threuliodd ond un dydd y'nghyfieithiad Tobias, pa un a adroddid iddo gan Rabbin, yr hwn oedd mor gyfarwydd yn iaith y Caldeaid, ag yn yr Hebraeg.

Duwioldeb a chymmedroldeb Theodosius ydoedd dra amlwg: fe osododd amryw orchymmynion allan o'r uniondeb mwyaf; ac a iawn-drefnodd ymarweddiad y Cristionogion, yn gystal a'r Iuddewon: efe yn enwedig a feiodd ar eu gorthrymder gan y Cristionogion, ac ni oddefai i'r adeiladau perthynol iddynt gael eu llosgi, ar ammod na fyddai iddynt o'u tu hwynt wrthwynebu'r anrhydedd dyledus i'r eglwys oedd yn blaenori. Ond etto trigolion Imnester, ym mhen y tair blynedd ar ol hynny, a syrthiasant i afreolaeth. Anllywodraeth a orfyddodd y parch oedd ddyledus i lywodraeth y tywysog, canys hwy a rwymasant Gristion ieuangc wrth grogbren, gan ei fflangellu mor greulon ag y bu efe farw. Cristionogion y wlad honno wedi cyffroi wrth y weithred farbaraidd hon, a aethant tan arfau. Yr ymladdfa a fu dost, o herwydd fod yr Iuddewon yn lliosog. Wedi hyspysu hyn gan lywodraethwr y dalaith i Theodosius, fe ddanfonodd orchymmyn i geryddu y rhai euog; a'r terfysg a lonyddwyd wedi eu cospi hwynt.

Yr ymerawdwr yma, yr hwn a dreuliodd y gauaf yn Constantinopl (yn y flwyddyn 425,) a luniodd amryw orchymmynion yno; un o ba rai oedd yn gwahardd cynnal chwarëyddiaethau a daugosiadau ar Sul y Pasg, ac ar ŵyliau eraill y flwyddyn. Yr Iuddewon a'r Cenhedloedd a allent haeru nad oedd y gorchymmyn hwn yn perthynu iddynt hwy: ond yr ymerawdwr a dystiodd eu bod hwy yn ddarostyngedig i'r gyfraith; ac a ddywedodd wrthynt fod amser i addoliad, ac un arall i ddifyrwch. Hwythau a feddyliasant gyffroi eiddigedd y tywysog, trwy achwyn, fod y grefyddoliaeth gamsyniol hon yn rhwystr i'r bobl i goroni a chyfarch delwau yr ymerawdwr: ond Theodosius a osododd ei hun uwchlaw'r pethau hynny, ac a addefodd mai ei anrhydeddu ef ydoedd gwneuthur gwasanaeth i Dduw. Pa fodd bynnag, ni a welwn fod y gweddill ŷma o baganiaeth y'nghadw etto hyd deyrnasiad yr ymerawdwr hwn; sef, o gyfarch delwau yr ymerawdwr, a dodi i mewn yr enw Numen y'nghyfreithiau'r wladwriaeth.

Y Cristionogion oedd yn aros yn ymerodraeth Theodosius, a dynnasant i lawr y

synagogau, heb ddim rheswm arall am hynny, ond eu casineb i grefydd yr Iuddewon. Os byddai i ryw berson neillduol dybied ei hun yn cael ei niweidio gan Iuddew, efe yn uniongyrch â geiriau, a ynnillai y werin-bobl i fod o'i du ef; a'r peth nesaf a wnaent ydoedd rhedeg yn bentyrrau i'r synagog, a'i gosod ar dân. Hyn a wnaethpwyd yn fynych yn Macedonia; a'r ymerawdwr a orfu iddo amlygu i'w ddeiliaid, nad oedd gyfreithlon i bersonau neillduol i wneud cyfiawnder iddynt eu hunain; fod llysoedd barnol wedi eu trefnu i wrando eu cwynion, ac i farnu eu hachosion; a'i fod ef wedi gorchymmyn i farnwyr y wlad hono i gymmeryd sulw o'u cyfaddefiad. Yr eglwyswyr cynnefinol âg ymrysonau crefyddol, a unasant â'r bobl: y rhai hynny o Antioch, lle'r oedd yr Iuddewon yn lliosog a chyfoethog a anrheithiasant y synagogau, ac a feddyliasant gyfreithloni lledrad trwy ei chyssegru i'r eglwys. Achwynion a wnaethpwyd oblegid y fath ymarfer waradwyddus, y rhai ydoedd mor rhesymol a'u cadarnhau gan y prif-swyddog, yr hwn a roddodd hyspysrwydd o'r annhrefn, a'r achosion a'i parodd. Theodosius a feiodd ac a farnodd yr eglwyswyr i adferyd yr hyn a gymmerasent, neu'r gwerth o hono; ac a orfeiniodd le i'r Iuddewon i adeiladu teml.

Y gorchymmyn ydoedd o uniondeb, gan fod yr Iuddewon yn byw yn yr ymerodraeth ar gred gyhoeddus y gorchymmynion. Ond nid oedd yn ymddangos felly i Simeon Stilites, yr hwn oedd yn fyw y pryd hynny, ac yn dadleu yn danbaid tros hawl yr eglwyswyr, a'r ymrysonwyr yn Antioch: efe a ysgrifenodd mor ddwys yn eu hachos at Theodosius, fel y darfu iddo nid yn unig alw yn ol y gorchymmynion a roddasai, ond a ddiswyddodd y rhaglaw a'i hannogasai i gospi yr anrheithwyr. Y ffafr a ganiattaodd Theodosius ar y gofyniad hwn, nid yn unig a gefnogodd y Cristionogion yn Antioch, ond y rhai o'r dinasoedd a'r ardaloedd cymmydogaethol, i wneud ymosodiadau newyddion ar y synagogau. Gorfu iddynt wneud eu cwyn drachefn at Theodosius i gael peth diogelwch oddiwrth y mynych niweid hwn. Y tywysog yma, yr hwn oedd yn elyn i bob trais, a'u gwaharddodd i arfer dim o hono. Ond y Cristionogion oedd yn anfoddlon iddo; ac a adnewyddasant eu hachwynion yn erbyn yr Iuddewon, gan haeru ddarfod i amddiffyniad yr ymerawdwr eu gwneuthur yn fwy trahaus. Yn eglurhad o'r gorchymmynion blaenorol, fe ddywedwyd; ac yn attebiad i'r achwynion athrist a wnaethpwyd gan yr Iuddewon, fe fwriadwyd eu cysgodi rhag yr erledigaeth ag oedd rhai o ysprydoedd terfysglyd yn ei ddwyn arnynt, tan esgus o grefydd, ac i wahardd llosgi eu heglwysydd; ond ar yr un pryd fe amlygwyd iddynt, os nad oedd ganddynt achos i ofni oblegid y temlau oedd ganddynt mewn meddiant, nad oedd gyfreithlon iddynt i adeiladu rhai newyddion; ac y gosodid i farwolaeth y rhai oll a gymmerent yn llaw enwaedu ar un o'r Cristionogion. Er hyn yr ydoedd rhai Cristionogion yr amser hwnnw a droesant yn Iuddewon: canys y gyfraith oedd yn erbyn anmherchi rhai yn orfyddol; ac yr oedd yn anhawdd i Iuddewon beri enwaediad ar Gristion, os na fyddai yn dueddol i ymostwng iddo.

Y colledion a oddefwyd gan yr eglwys a ddiwygiwyd, trwy ddamwain a ddigwyddodd yn y flwyddyn 434, yn ynys Candia, lle yr oedd llawer o Iuddewon cyfoethog, y rhan fwyaf o ba rai a drowyd, yn ol eu hudo yn fawr gan ryw dwyllwr. Ei enw oedd Moses, yr hwn a gymmerodd arno fod yn ddeddfwr hynafiaethol y bobl, a disgyn o hono o'r nefoedd, i beri iddynt waredigaeth ogoneddus, gan eu harwain trwy'r môr, i ddychwel i wlad yr addewid, megis y gwnaethant wedi ymadael â'r Aipht. Ni fedrwn feddwl pa fodd y gallai dyn fod mor orphwyllus a chynnyg y fath dwyll, neu berswadio ei hun ei fod yn allnog i'w effeithio. Ond etto y mae Socrates yn cadarnhau, ei fod nid unig wedi ei feddiannu â'r dychymmyg hwn, ond hefyd ddarfod iddo mewn un flwyddyn redeg tros holl ddinasoedd a phentrefydd yr ynys, a pherswadio y preswylwyr i grediniaeth o hono. Yr ynfydiad ydoedd mor fawr, fel, mewn disgwyliad am y dydd appwyntiedig i fwrw eu hunain i'r môr, yr arddwr a esgeulusodd aredig ei feusydd, a pherchenogwyr tiroedd a thŷau a'u gadawsant i'r rhai a ddeuai gyntaf iddynt; a phob un yn boddloni ar yr hyn a allent gludo gyd â hwynt.

Y Moses hwn, wedi crynhoi y'nghyd ei fintai i ben craig, y rhai nesaf wrth law a fwriasant eu

hunain heb siglo dim ar eu crediniaeth. Y gwragedd a'r plant a soddasant eu hunain, gyd â'r un mesur o awyddfryd. Ond fe ganfowyd ar fyr mai twyllwr oedd eu hanogwr: rhai a foddwyd, eraill a achubwyd gan y pysgodwyr Cristionogol, y rhai a ddigwyddasant fod â'u cychod gyd â hwynt yno; ac a aethant i fynegi i'w brodyr pa mor agos a fuasai eu crediniaeth ebud i gostio iddynt eu bywydau. Hwy a geisiasant y twyllwr i'w roddi mewn rhwymau, ond efe a anymddangosodd. Mewn canlyniad i hyn, llawer o Iuddewon a gofleidiasant Gristionogrwydd; y rhan fwyaf o honynt a dyfasant yn ddoethach, a phawb a gywilyddiwyd am roddi cymmaint o hyder mewn twyllwr mor warthus.

Y rhifedi o Iuddewon yn ninas Alexandria, oedd yn gwneuthur i fynu uwchlaw 100,000, y rhai a dyfasant yn dra therfysglyd ac ymrysongar; a'r casineb a faethasant yn erbyn y grefydd Gristionogol a dueddodd i awchlymu eu tueddrwydd cynhenllyd. Felly yr oedd cythrwfl yn mynych ddigwydd yn y ddinas fawr honno, ac anaml y diweddai heb dywalltiad gwaed. Sabbothau a nodwyd fel cynnifer o ddyddiau i ymrafaelio; o herwydd yr Iuddewon, y rhai a dreulient y dydd hwn mewn segurdod a gloddest, yn lle myned i'r synagog, a geisiant achlysur i ymenwogi eu hunain: y Cristionogion hefyd a'r paganiaid yn gyffredin a'u hanmherchai hwynt pan fyddent yn myned i'w synagog. Yr ydoedd dangosiadau cyhoeddus hefyd yn cael eu gwneuthur ar y dydd hwnnw; a'r Iuddewon a ddewisant yn hytrach fod yno nag yn eu haddoliadau; wrth yr hyn yr oedd y bobl a dyrrent yno yn fynych mewn amrafael â hwynt. Arferent ddyfod i ergydion, ac anfynych yr oedd gan y llywodraethwyr awdurdod digonol i attal y terfysgoedd hyn.

Un diwrnod, Orestes, llywydd Alexandria, ydoedd yn y chwareufa, yn amcanu gwneuthur rhai trefniadau dinasaidd y'nghyfarfodydd y campau. Fe fwriadodd, ysgatfydd, trwy gyfreithiau da, i ragflaenu yr annhrefn oedd wedi cyd-redeg â'r fath ganlyniadau niweidiol i'r heddwch cyffredin a llwyddiant y ddinas. Ond efe a gamsyniodd; canys fel ag yr oedd yn ymdrechu i hynny, fe ganfuwyd ei fod wedi ei amgylchu â'r rhai o blaid Cyril, esgob y lle hwnnw. Fe ddrwg-dybiwyd eu bod wedi dyfod yno yn unig i gyffroi y llywodraethwr, a dodi ar ddeall iddo ryw orchymmyn yn erbyn yr Iuddewon. Presennoldeb Hierax, yr hwn yn unig oedd is-athraw, ond yn un o wenieithwyr cyflogedig Cyril, yr hwn a arferai ganmol yr esgob am bregethu, a wasanaethodd i'w cythruddo hwynt; yn gymmaint ag y llefasant yn uchel fod y dyn hwnnw ag oeddynt yn edrych arno megis eu gelyn, wedi dyfod yno i'w difrio hwynt, ac i godi terfysg. Rhaid ei fod ef wedi rhoddi achos o'r achwynion hyn, gan i'r llywodraethwr beri ei orddiwes ef gan ei swyddogion, a'i fflangellu ar y chwaren-fwrdd, heb un ffurf o brofiad. Nid ydoedd Cyril yn wr ag a oddefai y fath anmharch gan y prifswyddog, pa un yr oedd yn ei holloll gashâu. Yn lle achwyn wrtho oblegid ei anghyfiawnder, os ydoedd wir ei fod yn euog o hono, fe ddanfonodd am rai Iuddewon, i'w balas, ac a'u bygythiodd hwynt. Hwythau a ddirmygasant fygythiau gan eglwyswr, pa un yr oedd y llywodraethwr yn ei wrthwynebu yn gyhoeddus; a phenderfynasant lofruddio y Cristionogion.

Mewn trefn i gyflawni yr amcan hwn, llu o'r bradwriaethwyr a redasant ar hyd yr heolydd yn y nos, gan waeddi fod prif-eglwys y Cristionogion yn Alexandria ar dân. Y dorf a ruthrodd allan yn anarfog i'w ddiffoddi. Yr Iuddewon, y rhai oedd â nod ganddynt i wahaniaethu eu hunain, a'u lladdasant mor gynted ag y daethant ym mlaen. Cyril, wedi cael hyspysrwydd o hono, a ddaeth allan gyd â lliaws o bobl, gan fyned i mewn i'r holl synagogau, a'u cymmeryd at yr eglwysydd; rhoddodd yr anneddau i'w hanrtheithio, ac a yrrodd yr Iuddewon allan yn gwbl noethion o'r ddinas. Y pen-swyddog a anfoddhawyd yn fawr, o herwydd i'r esgob ormesu ar lywodraeth swyddogion yr ymerodraeth; ac o herwydd gweled o hono y ddinas yn agos i'w di-boblogi trwy'r fath ymlidiad gwastadol o'r Iuddewon. Fe wnaeth y llŷs yn hyspys o hono; tra'r oedd Cyril hefyd wedi danfon ei achwyniad yn erbyn yr Iuddewon. Y bobl a ochrasant gyd â'u llywydd yn erbyn eu patriarch, ac a wnaethant iddo fyned i ymhŵedd am heddwch âg Orestes, yr hwn a omneddodd gymmodi ag ef.

Fel ag yr oedd Cyril wedi dwyn crefydd i

mewn i'r amrafael, fe aeth at y llywodraethwr â'r efengyl yn ei law, i wneud iddo, ar yr olwg o'r llyfr hwnnw, ddyfod i gymmod: ond ag Orestes yn ddigyfnewid yn ei sorriant tu ag at Cyril, yr hwn oedd ganddo gyd âg ef lu o filwyr y'ngwisg mynachod, fe'u galwodd oll i lawr o fynyddoedd Nitris. Ni fu disgyniad yr anerwyr hyn yn weledig, ond hwy a ddodasant y bobl tan ddychryn mawr. Hwy a aethant i wared y dydd hwnnw yn rhifedi o bymtheg cant; a chan sylwi ar y llywodraethwr fel yr oedd yn myned i'w gerbyd, hwy a ddechreuasant ei lwytho â dirmyg, gan ei gyhuddo o fod yn bagan, fel y caent esgus i ymwrthod âg ef, tan ymddangosiad o gyfiawnder. Yr ydoedd yn waith ofer iddo lefain allan ddarfod ei fedyddio yn Constantinopl. Yn lle ei wrando, hwy a syrthiasant arno â chawod o gerrig, gan ei archolli ar ei ben, a'i orchuddio â gwaed. Ei warchawdlu a'i gadawsant ef, wedi gwasgu arnynt gan fwy nifer; a'r llywodraethwr a adawsid i'w ddifetha, pe na rhedasai y bobl i'w gynnorthwyo ef. Ammonius, un o'r terfysgwyr, a ddaliwyd ac a farnwyd i gael ei gospi. Orestes a ysgrifenodd at y llŷs. Cyril, o'i ran ef, a gyfiawnhaodd y mynachod, trwy dystiolaethu Ammonius yn ferthyr, a gwneuthur molawd yn y pulpyd i ddyn a fuasai farw mewn achos mor ogoneddus. Y terfysg a ddechreuodd drachefn ychydig ar ol hynny, a Cyril a lwythwyd â'r holl atgasrwydd o'r ddamwain, ym mha un, Hypatia, gwyryf ganmoladwy o'r Cenhedloedd, a gollodd ei bywyd, wedi cael ei lladd trwy'r moddion o'r esgob hwn, pa un a fynai fod yn eiddigus o'i barchedigaeth.

Yn y gaurif hon, y genedl Iuddewig a gafodd drymach ergyd, trwy hollol ddiddymiad o'u patriarchiaid; canys eu dull o fywiolaethu a barodd rwgnachrwydd ac achwynion yn eu herbyn; a'r trethoedd a osodent ar y deyrnas a fu'n achos o'u cwymp. Nyni a lefarasom eisoes am eu rhagorfreintiau; a'r hyn yn unig sydd gennym i'w chwanegu, ydyw, ddarfod i Theodosius a Valentinian eu hymddifadu o'r elw hwnnw; ac a ddefnyddiasant y cyllid a dderbynid gan eu deiliaid i ddiwallu trysorfa'r ymerodraeth. Trwy'r moddion hwn y mawredd patriarchaidd a ddiddymwyd yn fwy effeithiol na phe darostyngasid trwy unrhyw orchymmyn; fel, trwy'r diffyg o gyfattebol gynnaliaeth, fe ddiflanodd ymaith. Photius a anturiai ddywedyd, fod y primatiaid, neu'r penoffeiriaid, y rhai a ddilynasant y patriarchiaid, wedi ymddiried iddynt am y casgliad hwn, yn rhwym i'w weled yn cael ei gyfleu i'r drysorfa. Fel hyn yn y flwyddyn 429, yr urddas batriarchaidd a ddattodwyd.

Rhwng Affrica a'r Yspaen y mae ynys Minorca, ym mha un yr oedd dwy o ddinasoedd helaeth; un, lle'r ydoedd yr esgob yn preswylio, oedd yn anneshaol i'r Iuddewon: nid oedd bleiddiaid na bwystfilod rheibus yno; a'r seirph, y rhai oeddynt dra aml, a gollasant eu gwenwyn. I'r gwrthwyneb, yn y ddinas arall, yr hon a elwir yn bresennol Port Mahon, yr Iuddewon oeddynt mor lliosog, er ei bod yn ddarostyngedig i'r ymerawdwr Honorius, etto hwy a gyrraeddasant deitlau, ac a arferasant bob swyddau o ddderchafiad. Canys Theodosius, yr hwn oedd ddysgawdwr yn y gyfraith, ac yn benaeth synagog, a gynnaliodd y radd gyntaf ym mysg y Cristionogion, o herwydd ei fod ef wedi myned trwy'r holl swyddau.

Severus, wedi ei osod yn esgob yr ynys hon, a berswadiwyd yn hawdd gan Orosius, yr hwn a ddychwelasai yn ddiweddar o Jerusalem i gymmeryd arno droedigaeth yr Iuddewon. Hwy a ddechreuasant âg ymddiddanion neillduol, ac a aethant ym mlaen i ddadleuon cyhoeddus; y diweddaf o ba rai a gynnelid yn eu synagogau; ym mh arryw le, wrth ddeall fod rhai gwragedd Iuddewig wedi arfogi eu hunain â cherrig i'w taflu attynt, hwy a ymbarattoasant i'w hamddiffyn eu hunain. Y canlyniad ydoedd, ddarfod i'r synagog gael ei thynnu i lawr, heb ddim yn cael ei achub allan o honi ond y llyfrau, a'r llestri arian: eithr yr esgob, trwy rym ac effaith ei araithyddiaeth, a barodd i'w gwŷr pennaf dristâu; ac ynghylch wyth niwrnod ar ol hynny, y rhan fwyaf o honynt a ddychwelwyd, a'r synagog a dröwyd yn eglwys. Llawer, pa fodd bynnag, ag oedd yn aros yn gyndyn, a aethant ac a ymguddiasant eu hunain mewn ogofeydd, nes eu gyrru allan gan newyn: ac eraill, wedi gadael y cwbl oedd ganddynt ar ol, a aethant i ymofyn am noddfa mewn gwledydd dieithr; pa ryw amgylchiadau a ddangosant oll fod rhyw drais yn cael ei arfer yn eu herbyn

gan yr esgob a'i eglwyswyr. Baronius a ymddengys fel yn addef cymmaint; ac a chwanega, y buasai i'r siampl hon gael ei dilyn mewn amryw leoedd eraill, pe na attaliasid y dull yma o ddychweliad gan y tywysog.

Asce, cyfansoddwr y Talmud Babilonaidd, wedi athrawiaethu y modd hwnnw drugain mlynedd, a gyhoeddodd gasgliad o'i athrawiaethau, yr hwn a wahaniaethodd i bedair o rannau. Y gyntaf oedd yn cynnwys prif-resymmau a rheolau y Misnah, gyd â'r dadleuon a ellid eu gosod, a'r dattodiad o honynt. Yn yr ail, yr oedd yn trin amryw gwestiwnau, ac yn adrodd barn y Tanneaniaid a'r Gemaristiaid yn eu cylch hwynt. Y drydedd ran oedd yn cynnwys y dywediadau a'r prif-resymmau a gyhoeddasid wedi amser Judah y Sant: ac yn y diweddaf yr oedd yr holl eglurhad a gynnwysai yr Ysgrythyr er penderfyniad o'r gwahaniaethau, gyd ag esponiadau y dysgawdwyr presennol. Dyma oedd wahaniaethiad cyntaf y Talmud Babilonaidd. Ond, fel na allai R. Asce orphen ei orchwyl, y rhai a ddaethant i mewn iddo ar ol hynny a newidiasant y drefn, ac a wnaethant chwanegiad, yr hyn a'i parodd yn fwy cymmysgedig. Y prif-athraw hwn a fu farw yn y flwyddyn 427.

Rhai a wnaent Marimer yn ddilynwr iddo; ond eraill a ddywedant, mai traed R. Hovan a frysiasant; hynny yw, mai yr athraw hwn a wnaed yn ben ar ysgoldŷ Sora, yn lle Asce. Ei fab Thobiomi (yn ol ymadrodd rhwysgfawr yr Iuddewon) a esgynnodd orsedd ei dad yn y flwyddyn 455, ac a deyrnasodd dair ar ddeg o flynyddau, ym mha amser y mwynhaodd y genhedlaeth y fath dawelwch mawr, fel y galwasant y dysgawdwr hwn, eu Beunyddiol Lwyddiant. Rhaid ei fod yn cyfrannu tu ag at eu dedwyddwch pan y rhoesant iddo yr enw o Lwyddiant. Ni ddylem ryfeddu eu clywed yn arfer yr ymadroddion o ddilyniad i'r orsedd, a theyrnasiad o dair blynedd ar ddeg, er nad yw y cwestiwnau ond yn unig y'nghylch y swydd o ddysgawdwr, neu ben-ysgolfeistr.

Ond i ddychwelyd at y Talmud Babilonaidd, yr hwn a gyfansoddodd pennaeth yr ysgoldŷ. Y gwaith yma a rwystrwyd trwy farwolaeth Asce, er gadael ar ei ol ddisgyblion addas i'r gwaith, y rhai a allasent ei orphen. Ond y rhwystr hwn a barwyd gan erledigaeth a barhaodd dair ar ddeg a thrugain o flynyddau: yr ydoedd yn orthrwm; canys cadwedigaeth y sabboth a ddilewyd; y synagogau a gauwyd i fynu; a'r adeiladau sanctaidd a roddwyd i'r Magi. Prif-athrawon y genhedlaeth a wnaethpwyd yn garcharorion. Animar, Mor, disgyblion Asce, a Huna ei fab, yr hwn oedd dywysog y caethiwed, a farnwyd i farwolaeth, ac a ddioddefasant gyd â chalondid: ond yr ieuengctyd Iuddewig, pa rai oedd fwy y'nglŷn wrth bleserau bydol, a ymadawsant â'u crefydd: felly'r Iuddewon a drallodwyd yn ddirfawr tua diwedd y bummed ganrhif. Pa fodd bynnag, hwy a ymwrolasant ym mhen amser ar ol; ac yn y flwyddyn 500 y Talmud a orphenwyd.

Y'nghylch diwedd yr un ganrhif, cyfododd sect neu blaid newydd, a elwid Sebureaid, neu Scepticiaid; wrth ben pa rai yr oedd R. Josi. Y dysgawdwyr hyn a gymmerent arnynt ammeu pob peth, ac ymddengys eu bod wedi cyfodi i fynu i wrthwynebu yr anffaeledigaeth a gyfrifir i'r Talmud; ond, pa un ai trwy amlwg gwestiwno ei awdurdod, neu'r ystyr o'i brif-resymmau, ni's medrwn fod yn sicr. Pa fodd bynnag, y fath yma o ormesol ragoriaeth a ddaeth mor ffiaidd gan eraill, fel na chafodd hir barhad. Fe ddechreuodd yn unig ymddangos y'nghylch diwedd y bummed ganrhif, ac a yrrwyd allan o'r byd cyn canol y nesaf, gan y Gaonim, neu'r Gaoniaid, math o ddysgawdwyr newyddion, y rhai a gymmerasant yr enw rhwysgfawr yma arnynt, yr hwn sy'n arwyddo goruchel neu ragorol; a'r rhai a ddaethant yn eilynod yr ysgoldai, a'r bobl yn gyffredin yn y ganrhif nesaf.

---

### *Erledigaeth yr IUDDEWON yn Persia, tan Cavades a Chosroes.*

Y CHWECHED ganrhif a ddechreuodd â'r erledigaethau a ddioddefodd y deg llwyth yn y dwyrain. Cavades, yr hwn oedd dywysog balch ac annuwiol, a barodd i lawer o Gristionogion gael eu harteithio yn llym, ac a ymdrechodd i wneud iddynt gofleidio crefydd yr Ioniaid: efe hefyd a arteithiodd yr Iuddewon mewn amryw ffyrdd anhynaws a chreulon.

Yn amser Zeutra, tywysog perthynol i'r caeth-

iwed, y cyfododd yr enwog Meir, rabbi dysgedig, a dysgawdwr mawr o'r gyfraith; yr hwn wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn brenin y Persiaid, gyd â phedwar cant o wŷr yn unig, a fu drallwyddiannus yn ei wrthwynebu yn oed saith mlynedd; ar ol pa amser wedi i'w wŷr halogi eu hunain ag ymborth dieithr, ac â chyfeillach menywod, efe a orchfygwyd, a gymmerwyd, ac a roddwyd i farwolaeth gan y Persiaid. Yn ol hynny hwy a aethant i ddinas drigianol Zeutra, ac a'i hanrheithiasant hi. Yna y cymmerasant y tywysog hwnnw, a phennaeth y cyngor, ac a'u crogasant ar bont. Ei deulu a orfu iddynt fyned ar ffô; a'i fab, ei etifedd, Zeutra II. a giliasai i Judea, lle y daeth yn flaenor y senedd, neu Sanhedrim. Hyn fel y dywed haneswyr Iuddewig i ni, a fu'n ddechreuad yr aneirif ddrygau a'u dilynodd yn Persia; yn gymmaint ag na feiddiai eu pennaeth mawr Habonai ddangos ei wyneb tros yspaid deg mlynedd ar hugain; hynny yw, yn oed holl amser teyrnasiad Cavades.

Pa fodd bynnag, Chosroes y mwyaf, nid ydoedd, megis ei dad, yn ffafrol iddynt. Hwy a geisiasant bwrcasu ei ewyllys da trwy fradychu yr ymerawdwr Justinian. Y tywysog hwn a ddanfonasai gennadwyr i'r dwyrain, i sefydlu heddwch, ac a'i llwythasai ag anrhegion, y rhai a dderbyniwyd gyd â'r fath rwymedigaeth, ag oedd yn rhoddi rheswm i obeithio am ddiwedd buan i'r cyttundeb; pryd y darfu i'r Iuddewon, y rhai oedd ganddynt eu hyspïwyr a'u cennadau yn y llŷs hwn arwyddo i Chosroes, mai os oedd yn ewyllysio parhau y rhyfel, y chwanegant hwy iddo ddeng mil a deugain o wŷr yn Judea, trwy ba foddion y gallai ynnill Jerusalem, un o'r dinasoedd cyfoethoccaf yn y byd. Chosroes a dderbyniodd y cynnygiad, a dorrodd ymaith ei gyttundeb â'r ymerawdwr, ac ydoedd yn parottoi i gynnorthwyo ymdrechiadau y teyrnfradwyr; pan y dygwyd newyddion fod y cennadau a anfonasid i gwblhau yr amcan, wedi eu goddiweddu yn eu dychweliad, a'u barnu i farwolaeth, yn ol iddynt yn gyntaf wneud cyfaddefiad o'u bai.

Hormisdas III. a adferodd i'r Iuddewon eu rhyddid; canys Athrofa Pundepita a agorwyd. R. Chanon Mehischka a ddechreuodd addysgu. Ond ni theyrnasodd y tywysog annedwydd hwn yn hir: ei ddeiliaid gwrthryfelgar a'u cymmerasant yn garcharwr; a'i fab ei hun Chosroes II. a'i hymddifadodd o'i fywyd. Ond ni ddarfu i'r tywysog ieuangc hwn fwynhau yn heddychol y ffrwyth o'i dadleiddiad; canys Varanes, yr hwn a fuasai yn elyn i'w dad, a amlygodd ei hun felly iddo yntau; a chan gymmeryd arno esgyn i'r orsedd, fe'i gyrrodd ef allan o Persia, wedi yn gyntaf orchfygu ei fyddin. Fe orfu iddo ymrwymo mewn llawer o frwydrau, cyn gallu o hono feistroli Varanes, yr hwn a wnaethai blaid gref yn y llywodraeth; ac amddiffyn ei hun gyd â gwrolder mawr. Yr Iuddewon oeddynt o'i ochr ef. Y genedl anffyddlon, aflonydd, eiddigus, a chenfigenus hon (fel y dywed yr hanesydd Groegaidd) ydoedd y pryd hynny mor alluog yn Persia, ag i annog y bobl yn erbyn eu tywysog, a chadarnhau y gwrthryfelwyr; o herwydd eu bod wedi amlhau mor fawr, a phentyrru anferth gyfoeth. Chosroes wedi cael y meistrolaeth, a wnaeth iawn am eu bradwriaeth â thywalltiad eu gwaed. Y rhai o Antioch a syrthiasant yn gyntaf i ddwylaw Mebodus, y cadflaenor Rhufeinig. Nid yr Antioch yn Syria ydoedd; ond un arall, yr hon a adeiladodd Chosroes I. yn Persia, ac a roddasai iddi yr enw hwnnw, oblegid iddo ei gwneuthur wrth lun y llall, a thraws-symmyd ei thrigolion yno. Fe ddywedir eu bod yn synllyd ar eu dyfodiad iddi, am gael o honynt eu trigfa drachefn, yr ail Antioch; yr un heolydd a thŷau ag a adawsent. Mebodus wedi cymmeryd y lle hwn, a roddodd nifeiri o'r Iuddewon i'r cleddyf, a ddifethodd eraill trwy wahanol gospedigaethau, ac a ddarostyngodd y lleill i druenus gaethiwed.

Chosroes, wedi o'r diwedd ei ail-sefydlu, a gymmododd â hwynt, ac a'u defnyddiodd i'r swyddau a amcanodd. Yn wir, y tywysog hwn oedd yn hoffi mewn rhyfel, ac a gyhoeddodd ei fod yn ymarfogi i ddial marwolaeth Mauritius, ei gymmwynaswr ar Phocas, yr hwn a'i lladdasai ef, ac a wnaeth ei hun yn ben yr ymerodraeth. Chosroes a dorrodd i mewn i Syria a Judea, lle y gwnaeth ddifrod ofnadwy. Fe ddychwelodd drachefn yn amser Heraclius, a gymmerodd Jerusalem, ac a ddygodd groes ganddo a gafwyd gan Iuddew. Y mae'n dra thebygol fod cymdeithasrwydd rhwng y genedl hon a Chosroes; gan iddo, wedi cymmeryd

Jerusalem, ddychwelyd iddynt yr holl garcharwyr o Gristionogion, y rhai a ddarfu iddynt yn unig eu pwrcasu i gyflawni arnynt eu malais anghymmodlon: canys deng mil a phedwar ugain o bersonau a lofruddiwyd yn ddidrugaredd.

Yr Iuddewon hefyd oedd wedi eu cymmysgu â'r anghyfannedd-dra yn Syria, yn gystal a Jerusalem. Abdala, mab Aly, wrth groesi Judea, a orchymmynodd i'r Cristionogion eillio eu barfau, a gwisgo capiau hirion. Ac yn Jerusalem fe orchymmynodd i'r Iuddewon yn gystal a'r Cristionogion, i gael eu nodi ar eu dwylaw; i'w gwahaniaethu oddiwrth Fahometaniaid. Llawer o'r Cristionogion ag oedd yn anewyllysgar i oddef y dirmyg hwn, a giliasant i ardaloedd perthynol i'r Rhufeiniaid; ond yr Iuddewon a barhausant tan lywodraeth Abdala; a bu yn well arnynt tan y rhai yn uniongyrch a'i dilynodd.

Yr haneswyr Persiaidd a sicrhant, ddarfod i'w brenin Iedigerdes eu herlid hwynt ryw amser o flaen rhyfel yr Arabiaid i'w erbyn ef. Eu synagogau a roddwyd i'r Magi; eu hathroféydd a gauwyd i fynu, a'r erledigaeth a fu'n achos o gwymp llawer o bersonau. Nid rhyfedd gan hynny iddynt lawenychu ar gyfnewidiad eu meistr. Tueddiad gwreiddiol y'nghalon y gorthrymedig ydyw i ddymuno, a llawenhau wrth ddarostyngiad eu herlidwyr. Y maent yn meddwl fod Duw, cyfiawn amddiffynwr y rhai diniweid, yn cospi gorthrymwyr, ac yn eu gwneud yn deimladwy o'u cam-ymddygiad. Yr Iuddewon a roddasant y farn hon ar Isdigerdes, a'r Persiaid, y rhai a'u triniasai mor greulon. Hwy a gyhuddid, nid yn unig o lawenychu wrth oruchafiaeth y Mahometaniaid, y rhai a ddistrywiasant amldra o eglwysydd, ac a wnaethant niweid mawr i'r Cristionogion; ond o gymdeithasu gyd â hwynt; o dderbyn eu nôd, a'u hannog i ddwyn eu harfau ym mlaen i'r ymerodraeth. Ond rhaid fod eu llawenydd yn cael ei fynych attal gan eu haflwyddiant eu hunain: canys y difrod a wnaeth y concwerwyr yn Persia a Syria a raid iddo wneuthur aflonyddwch iddynt hwythau. Heblaw hyn, nid oedd angenrhaid iddynt hwy gynhyrfu y Saraceniaid i ryfel, y rhai oeddynt yn ddigon tueddol iddo: ac o'r funud y profasant o bleserau cyfoeth, trwy aurheithio rhai ardaloedd, hwy a anghofiasant eu tlodi gynt, ac ni feddyliasant am ddim ond cyfoethogi eu hunain ag yspail eu cymmydogion. Dylem gan hynny seilio y cynnyrfiadau i ryfel, a rhuthriadau i gynnifer o deyrnasoedd, ar awydd-chwant yr Arabiaid, a chybydd-dra eu blaenoriaid, yr hwn ni foddlonid.

Pa fodd bynnag, yr Iuddewon a fawr ganmolasant ddynoliaeth yr Arabiaid, y rhai a feiant ar y trais a wneir i'r gydwybod, ac a adferasant iddynt hwy broffes rydd o'u crefydd. Yr oeddynt yn byw yn heddychlon tan eu blaenoriaid cyntaf, a'u hysgoldai wedi eu hagoryd. Chana a athrawiaethodd yn Pundepita, tan Omar. Mar Rabba a ddaeth ar ei ol ef tra'r oedd Chenina Sursæus, mab Calipta, yn teyrnasu yn Sora.

Tros ryw hyd Omar a ffafrodd yr Iuddewon ac fe ddywedir i ni, ar ol i un o ddisgyblion Mahomed gael llwyddiant i'w achos, trwy ddedryd ei ben-prophwyd; yn ol dwyn y weithred o flaen Omar, i'w hail-olygu, fe gymmerodd ei gleddyf ac a dorrodd ymaith ben y Myssolman gwrthnyssig, i ddial yr Iuddew ar gabledd ei elyn. Ar ol ei fod yn brif-swyddog, fel yr oedd yr Iuddewon yn achwyn wrtho ar lywodraethwr un o'r taleithiau, i ba un y gwerthasai eiddo, heb dderbyn tâl am danynt. Omar a alwodd am ingc, a chan nad oedd dim yn y lle, fe gymmerodd un o'r pridd-feini o fur Medina, yr hwn oedd yn ei adeiladu, ac a ysgrifenodd arni y geiriau hyn, "Dodwch ddiwedd ar yr achwynion a ddygir i'ch erbyn, neu gadewch eich llywodraeth." Yr Iuddew wedi dwyn y briddfaen atto, a gafodd dderbyn ar fyr ei arian. Hyn a ddengys pa fath agoshâd a gafodd yr Iuddewon at y caliph neu'r tywysog hwn, ai gariad at gyfiawnder. Ond etto, os oedd am uniondeb i bersonau neillduol, yr ydoedd yn dra niweidiol tu ag at y genedl: canys y rhan hynny a arhosodd yn Arabia ar ol buddugoliaethau Mahomed, efe a'u llwyr yrrodd ymaith.

Yn lle dioddef tan Jesid, a'i ddilynwyr nesaf, yr Iuddewon ag oedd yn preswylio y parthau hynny a fwynhasant gyflawn heddwch. Eu tywysog o'r caethiwed a deyrnasodd gyd ag ynghylch cymmaint o awdurdod a phe buasai yn frenin. Yr athrofeudd a fu agos i gael eu gadael yn amser y cylch-droad yn y llywodraeth:

Mor fawr a fu ymadawiad ysgolheigion a meistriaid, fel y gorfu arnynt yn Sora, wneuthur gwehydd yn ddysgawdwr, o herwydd ei fod wedi astudio'r gyfraith. Ond yma hwy a ddechreuasant flasu ar y swydd drachefn. Dysgeidiaeth physygwriaeth, yr hon yn wastad sydd enuillfawr, a adnewyddodd ei llewyrch blaenorol. Offeiriad o Alexandria, a elwid Aaron, ydoedd ar unwaith yn physygwr a dysgawdwr; efe a gyhoeddasai lyfr, a elwid "Pandects; neu Drysorfa Meddyginiaeth." Yr Iuddew Massergieuf, yr hwn oedd yn llŷs y caliph a'i cyfieithodd y pryd hynny i iaith yr Arabiaid.

---

*Am Helynt yr IUDDEWON yn y Gorllewin, tan amryw Dywysogion: yn Constantinopl, Affrica, yr Ital, Hispaen, a Ffraingc.*

YR achlysur cyntaf o achwyniad a roddodd yr ymerawdwr Justinian iddynt ydoedd, ei orchymmyn, yr hwn oedd yn gwahardd iddynt gynnal eu pasg, yn ol eu cyfrifiad eu hunain; a gorchymmyn iddynt ei gadw yr un amser a'r Cristionogion. Nid oedd hyn ychwaneg na'r peth a ddywedir i ni iddo wneuthur i'r Cristionogion, y rhai a barodd efe iddynt ddilyn ei gyfrifiad newydd, yr hyn a fu'n achos o ddim llai terfysg yn eu plith hwynt: ond yr Iuddewon, yn eiddigus bob amser o'u hen ddefodau, a ddigiasant yn fawr. Eithr yn fuan ar ol hynny a osodwyd tan orchymmyn mwy llym, trwy'r hwn yr oedd yr ymerawdwr yn eu hymddifadu o amryw freintiau, yn enwedig o wneuthur ewyllysiau, a gadael rhoddion o'u hol i'w perthynasau. Efe hefyd a ymddifadodd y rhai o Affrica, o ymarferiad cyhoeddus eu crefydd, ar ddeisyfiad y cyngor yn Carthage; gan ddanfon gorchymmyn at brif-ynad y pretorium, i ddychwelyd eu holl synagogau yn eglwysydd, a'u hattal rhag cyflawni unrhyw ddyledswyddau crefyddol mewn ogofeydd. Y gyfraith hon a roddwyd mewn grym yn bennaf yn Borium, dinas yn Affrica, a'i sefyllfa wrth droed y mynyddau ag oedd yn ymrwymo â Pentapolis o du'r gorllewin.

Sefyllfa y ddinas hon ydoedd gadarn, o herwydd fod cadwyn o fynyddau yn caead o'i hamgylch, heb adael ond ffordd gul o fynedfa atti. Yr Iuddewon a'i gwnaethant yn lle o ddiangfa yn amser Justinian: yma'r oeddynt yn byw yn fwy heddychlon, am na ofynai yr ymerawdwr ddim trethoedd ganddynt, ac ni welwyd un casglydd tros lywodraeth ymerodrol erioed yno. Yr ydoedd iddynt deml ardderchog, a'i sylfaen yn debyg i'r un yn amser Solomon. Yr ydym yn penderfynu oddiwrth hyn, eu bod er's hir amser wedi sefydlu yn y lle hwn; a'u bod yn oludog, er byw y'nghymmydogaeth y Blowmoniaid, neu ddyniou duon. Justinian a gymmerodd arno ddychweliad trigolion y ddinas hon, yn gystal a'r rhai o Aigula, lle'r oedd Paganiaeth yn aros hyd yn bresennol, a'r lle yr oeddynt yn aberthu i eilynod, mewn temlau a gyssegrasid i Alexander Fawr, a Jupiter Ammon. Efe a lwyddodd yn ei amcan; canys yr Iuddewon yn gystal a'r Cenhedloedd a gofleidiasant Gristionogrwydd. Y synagog, neu deml Solomon, a ddaeth yn eglwys; a Justinian a barodd i'r ddinas gael ei murio o'i hamgylch, i'w gwneuthur yn fwy diffynadwy.

Yr Iuddewon yn ystyried y gorchymmynion hyn yn fath o erledigaeth, ni fethasant, fel arferol, a pheri anfoddlonrwydd cyffredinol, pa un yn raddol a addfedodd i wrthryfel, cyn gynted ag y caniattawyd cyfleustra i hynny. Y cyntaf a barwyd gan dwyllwr a'i enw Julian. Efe a ymddangosodd yn Palestina, ac a hudodd bobl y wlad honno. Fel ag y cymmerodd yr enw concwerwr, i beri ei ryfeddu yn fwy gan ei genedl, fe archodd i'w ganlynwyr hygoel arfogi eu hunain. Y terfysgwyr yn syrthio yn annisgwyliadwy ar y Cristionogion, y rhai a dybiasant nad oedd ganddynt ddim i'w ofni oddiwrth genedl wedi ei thrallodi mor fynych, a wnaethant laddfa fawr arnynt; ond lluoedd Justinian a redasant yn gynnorthwy i'r rhai gorthrymedig, y rhai a wybuant yn fuan ddarfod eu harwain gan zel gamsyniol. Eu harweinydd a gymmerwyd, ac a gospwyd â marwolaeth, yr hyn a ddibenodd y gwrthryfel. Bu ail gythrwfl, bum mlynedd ar hugain ar ol hynny, yn Cæsarea. Y Samariaid a'r Iuddewon, er mai gelynion marwol i'w gilydd oeddynt, a unasant yn erbyn y Cristionogion yn y ddinas honno. Bwriasant i lawr yr eglwysydd, a laddasant amryw bobl, a llofruddiasant y llywydd. Ei wraig wedi diangc rhag y perygl, a ddug y cwynfanau at Justinian, yr hwn yn ebrwydd a

ddanfonodd orchymmyn at Adamantius i ddwyn yr achos o'i flaen ef. Wedi i hyspysrwydd gael ei roddi, a chyfrif i'r Iuddewon y bai a'r creulondeb mwyaf mewn perthynas i'r weithred hon, Adamantius a gymmerodd yn fforffed etifeddiaeth y cyfoethogion, a ddododd amryw o'r terfysgwyr ar ffo, y rhai oedd ganddynt ran yn y galanastra, ac a dorrodd ymaith bennau eraill. Y dibenyddiad a gyflawnwyd mor llym, fel y parodd gryndod i holl Iuddewon y wlad honno, ac a'u hattaliodd tros amser rhag cymmeryd arfau i fynu yn erbyn y Cristionogion yn y parthau hynny.

Yr Iuddewon yn Itali a dystiasant yn uchel yn erbyn Justinian a Belisarius, y rhai a warchaesant ar Naples. Y cadfridog enwog hwn a adferodd Affrica i ufudd-dod i'r ymerawdwr; a ddarostyngodd y Fandaliaid; ac yn yr oruchafiaeth a wnaeth gyhoeddiad trosto yn Constantinopl, a ddygodd allan y llestri cyssegredig a berthynai gynt i'r deml yn Jerusalem, y rhai a ddygasai Titus i Rufain, ac a gludasid ymaith gan Gizeric, pan anrheithiodd y ddinas fawr honno. Y drych yma, pa un a adnewyddodd y coffadwriaeth o gymmeryd Jerusalem, a dinystr ei theml, oedd raid ddarfod iddo gyffroi yr Iuddewon yn Constantinopl. Ar yr olwg hon, un o honynt a lefodd allan, na ddylesid dwyn y llestriau gwerthfawr hynny i Constantinopl, na'u gosod ym mhalas yr ymerawdwr. Ni ellir (eb efe) eu cadw yn un lle arall, ond y man y cyssegrodd Solomon hwynt; a thyma oedd y rheswm ddarfod i Gizeric gymmeryd Rhufain, ac y gorchfygodd y Rhufeiniaid ef.

Dwy blaid a gyfododd yn awr yn ninas Naples, un tros yr ymerawdwr, a'r llall o du y Gothiaid, y rhai yr oedd lliaws yr Iuddewon yno yn eu ffafrio hwynt. Yr ymerodraethwyr, i ryddhau eu hunain oddiwrth yr anghyfleusdra o gynllwyn, a amlygasent i Belisarius, fod yn fwy manteisiol i warchae ar Rufain; o herwydd os cymmerai y brif-ddinas honno, y byddai i Naples, pa un oedd yn parhau yn ddarostyngedig i'r Barbariaid o orfod, ddychwelyd i ufudd-dod: ond efe a wrthododd y cynhygiad, ac yn unig a wnaeth addewidion teg iddynt os rhoddent y lle i fynu. Articlau o ammodiad a dynnasid i fynu eisoes, ac a dderbyniwyd gan Belisarius, yr hwn a ganiataodd eu holl ofynion; pan y darfu i ewyllyswyr da y Gothiaid ymadroddi yn bwysig wrth y trigolion, gan gadarnhau eu rhesymmau â phresennoldeb y marsiandwyr Iuddewig, y rhai oeddynt yno; i sicrhau'r bobl na chaent eisiau lluniaeth nac arfau yn oed amser y cynllwyn: y dinasyddion wedi eu cefnogi â'r sicrhad hwn, a gymmerasant galon, ac a ymddiffynasant y lle, tros ugain o ddyddiau gyd â'r gwrolder mwyaf. Belisarius a gollodd lawer o swyddogion a milwyr yn yr amryw ymosodiadau, ym mha rai y curwyd ef yn ol. Yr Iuddewon a amddiffynasant yr ochr hwnnw ag oedd nesaf i'r môr: ac fel yr oeddynt wedi eu perswadio na chaent ddim arbediad, yn gymmaint ag mai hwynt-hwy oedd achos pennaf y gwrthwynebiad a wnaethpwyd, hwy a ymladdasant fel dynion dibris a chreulon. Yr oedd y ddinas wedi ei chymmeryd eisoes o'r tu arall, tra'r oeddynt hwy etto yn gwrthsefyll ymosodiad y gelyn yn eu hymddiffyn-glawdd; ond ar oleuad y dydd hwy a orfuwyd ynddynt. Belisarius a gynghorodd ei wŷr i gymmedrolder; ond pa un a lefarodd wrthynt mewn dull esmwyth, neu fod y milwyr a'u gogwydd ar ladd ac yspeilio, fel na wrandawent ar lais eu cad-flaenor, ni arbedasant oedrau, rhyw, na chrefydd, ond, heb ddim gwahaniaeth personau, hwy a wnaethant laddfa fawr. Y dinystr ofnadwy hwn a'u gostegoddd tros rhyw hyd o amser; ac ni chlywn am wrthryfel, nac erledigaeth tros y ddau deyrnasiad canlynol.

Er darfod i deyrnasiad Mauritius gael ei aflonyddu â rhyfeloedd yr Avari, y rhai a ddaethant oddiwrth y Danube, ac a wnaethant fynych ruthriadau i Thracia; etto'r Iuddewon a arosasant yn llonydd yno. Trachwant y tywysog hwn, ysgatfydd, a fu'n gynnorthwyol iddo; canys yr oedd yn hawdd pwrcasu eu rhyddid a'u heddwch ganddo ef. Heb law hynyr oedd yr Avari mor bell oddiwrth Judea a Syria, fel na's gallent addaw iddynt eu hunain gynnorthwy oddi yno, ac ysgatfydd na adwaenid eu hamcan ond ychydig. Ond Phocas wedi esgyn i'r orsedd, trwy ladd yn fradwriaethus ei feistr a'i blant, fe ddisgwyliwyd y byddai i'r chwyldro hwn beri llawer o gyfnewidiad yn nhrefniadau'r llywodraeth.

Yr Iuddewon o Syria yn canfod eu hunain

yn gryfion yn Antioch, a gymmerasant afael ar y cyfleustra, ac a ymarfogasant yn erbyn y Cristionogion. Yr ymryson oedd gyffredinol, a hwy a ymroesant i ymladd o bob ochr; ond â'r Iuddewon yn blaid gryfaf hwy a laddasant lawer, a llosgasant eraill yn eu teïau, y rhai a osodasent ar dân. Yr esgob Anastus a driniwyd mewn modd tra chreulon, canys hwy a'i llusgasant ar hyd yr heolydd, ac ar ol ei ammherchi yn waradwyddus, hwy a'i bwriasant i'r tân, ac a'i llosgasant ef. Hwynt-hwy o'r diwedd a ddarostyngwyd trwy anhawsdra mawr gan yr iarll Bonosus, yr hwn a ddanfonodd Phocas gyd â llu digonol yn eu herbyn. Y rhai a ddiangasant esmwythaf a alltudwyd, ac a ddanfonwyd ymaith yn friwedig ac yn glwyfus. Yr oeddynt, pa fodd bynnag, yn dra lliosog ac yn gedyrn yn ynys Cyprus, lle y cawsant fodd i sefydlu eu hunain, er darfod gorchymmyn yn amser Adrian, i beidio a dioddef cymmaint a a thrafaelwyr o'r grefydd honno i ddyfod i'r ynys. Cylch pedair blynedd ar ol y lladdfeydd yn Antioch y bu i Cyprian, daionus esgob Leontius, trwy ofni ysgatfydd yr un driniaeth ag eraill oddi wrthynt, gynnyg, o byddai bossibl, eu dychwelyd at Gristionogrwydd; ac a lwyddodd mor bell, os gallwn gredu ei amddiffyniad, fel yr eiddo ei hun, ag y bedyddiwyd y rhan fwyaf o honynt.

Ar yr amser hwnnw yr oedd Gregori y mwyaf yn byw, yr hwn a ddarfuasai ei berswadio y dylai'r Iuddewon gael eu hamddiffyn, yn lle eu casau, o herwydd eu bod, ryw ddydd, i gael ail alwedigaeth. Eu troedigaeth cyffredinol ydoedd yn un â'i ddymuniadau gwresog ef; fe arferodd y moddion, ac a ysgrifenodd at dderbyniwr ei drethoedd yn Sicily, i dynu oddiar y llafurwyr, a droesai yn Gristionogion, y drydydd ran o'r deyrnged oedd ddyledus arnynt iddo ef. "Rhaid iddynt (eb efe) gael eu galw i undeb y ffydd, trwy dyner berswadiad, a charedigol gyngor. Trais a weithia gasineb yn y rhai a ellid ysgatfydd eu henaill trwy diriondeb a thrugaredd. Bygythion a dychryn a all eu siglo; ond yr iawn ffordd o'u dychweliad yw, nid trwy wneud iddynt ein hofni, wrth arfer llymdra i ormodedd, eithr eu perswadio, trwy bob moddion, i ddyfod i wrando gair Duw." Efe hefyd a feddyliodd yn gyfreithlon ddefnyddio arian, heb gredu y dichon yr anrhegion hyn genhedlu ffydd; "canys," eb efe, "os na ddychwelwn y tadau, dichon i ni ennill y plant."

Cyfnewidiwyd llawer ar amgylchiad yr Iuddewon er gwaeth, mor gynted ag y sefydlwyd heddwch â Phersia gan yr ymerawdwr Heraclius; trwy'r hyn yr adferwyd y rhelyw o bethau iddo a gymmerasid gynt, ac a'u danfonwyd i Jerusalem. Fe ymddengys yn eglur oddiwrth ei eiriau ei hun, ei fod yn casâu y genedl Iuddewig am eu bod yn elynion i'r grefydd Gristionogol: ond yr hyn a roddodd yr achlysur cyntaf o'i gas tu ag attynt, ydoedd cyfarfod ag un yn Tiberius a'i enw Benjamin, yr hwn oedd mor gyfoethog a darfod iddo ei hun ddiwallu ei fyddin a'i lys â lluniaeth; ac ymdderchafu o hono gymmaint yn ei feddwl ar y cyfrif hwnnw, a'i fod yn blino y Cristionogion yn faleisus â chwynion cyfraith. Benjamin, yn ofni ei ymddial, ni fedrai gael ffordd well i'w ochelyd na thrwy droi yn Gristion: ond ni leihaodd hyn ddim ar wrthwyneb yr ymerawdwr i'r genedl, y rhai a barodd yn fuan ar ol hynny i gael eu halltudio allan o Jerusalem, gyd â gwaharddiad llym yn erbyn y rhai a neshaent, ar ol yr amser hwnnw, o fewn tair milldir i'r ddinas. Rhagddywediad rhai swynwyr, â pha rai yr ymgyngorasai, a'i cythruddodd yn fwy yn erbyn yr Iuddewon. Y tywysog anesmwyth hwn a ymofynodd â hwynt ynghylch digwyddiad yr ymerodraeth, yr hon ydoedd mewn cythrwfl enbyd: a hwy a'i hattebasant, "y difethid hi gan genedl enwaededig." Fel yr oedd yn canfod yr Iuddewon yn lliosog, rhoddodd gred i'r swynyddion, ac a erlidiodd yr Iuddewon, trwy wneud iddynt trwy lw i wadu eu crefydd. Heb foddloni ar hyn, yr ymerawdwr a ddygodd ei sel ym mlaen yn eu herbyn i'r teyrnasoedd cymmydogaethol, ac yn enwedig at Sisibut, brenin yr Hispaen, yr hwn a wnaeth nifer mawr yn garcharorion, a llawer a ymadawsant a'u crefydd, mewn trefn i ochelyd yr arteithiau creulon â pha rai y bygythid hwynt.

Y cyngor yn Toledo, wedi ymgasglu ynghyd wrth orchymmyn Sisimund, yr hwn a ddiorseddodd Squintilla, mab Sisibut; ac wrth weled pobl yn wahanol eu meddyliau, tra'r oedd ei gyd-erlynwr etto yn fyw, fe ddefnyddiodd foddion crefyddol i'w huno hwynt. Ac wedi

galw preladiaid y deyrnas ynghyd i Toledo, fe ddaeth ac a ymgrymodd ei hun o'u blaen, a chyd â gostyngeiddrwydd mawr fe ddymunodd gael diwygiad mewn disgyblaeth. Y cyngor a gydunodd â dymuniadau y brenin newydd, trwy hyfforddi y Gothiaid i uno tan yr un tywysog, er amddiffyniad y genedl; a chyhoeddi anathema ar y rhai a droseddai'r llw o ffyddlondeb a gymmerasent i'r gormeswr. Y cyngor a dystiolaethodd na fyddai i Squintilla, yr hwn a ymadawsai a'r goron, na'i wraig, na'i blant, na Gelanus ei frawd, pa un a gymmerasai arno gymmeryd plaid Sisimund, ac a'i siommasai ef, gael fyth dderbyniad i gynhaliaeth yr eglwys. Aethant ym mlaen hefyd ynghylch diwygio amryw gam-arferion, ac a wnaethant drefniadau ar amgylchiad yr Iuddewon. Barnasant yn feïus y trais a wnaethid iddynt trwy orchymmyn Sisibut; gan ddangos na ddylai neb o orfod gael ei wneud i gredu; na's gallwn achub ond yn unig y rhai a'i hewyllysiant; mai megis y difethodd y dyn cyntaf ei hun yn wirfoddol, trwy gredu addewidion twyllodrus, ni ddichon neb rhyw ddyn gael ei achub ond trwy rydd ymchweliad, o'i ewyllys ei hun, a bod yn ddyledus ei berswadio, ac nid ei yrru o orfod i grediniaeth.

Chintila, dilynydd Sisimund, ac ydoedd, ysgatfydd, yn frawd iddo, a feddyliodd hefyd ddwyn yr eglwyswyr o'i blaid. I'r diben hwn fe alwodd y pummed cyngor yn Toledo; y rhai a gyttunasant i amryw ordinhadau yn ei ffafro ef. Ond i wneuthur ei ddeddfau yn fwy grymmus, fe barodd iddynt gael eu cadarnhau gan gyngor arall a gasglwyd ynghyd yr un flwyddyn, yn yr un lle. Y cyngor hwn a wnaeth dri pheth yn erbyn yr Iuddewon. 1 Fe ganmolodd y brenin, yr hwn oedd yn danllyd o sel erledigaethus. 2 Fe gadarnhaodd yn barchus y gyfraith a wnaethai'r tywysog hwn i alltudio'r Iuddewon allan o'r deyrnas. Yn ddiwedeaf, fe orchymmynodd, na fyddai i un brenin, tros yr amser i ddyfod, esgyn i'r orsedd, nes iddo gymmeryd llw na fyddai iddo fyth dreisio'r gyfraith hon, gan ddatgan anathema i'w erbyn os torrai hi. Mae'n debygol i'r gwahaniaeth yma rhwng y ddau gyngor gael ei beri trwy farwolaeth Isidore o Seville. Y gwr pwyllog a chymmedrol hwn, pa un a wybuwyd am ei farn, a flaenorodd yn y pedwerydd cyngor yn Toledo; a bu farw cyn y chweched. Oddi yma y cyfododd anwadalwch y preladiaid; y rhai wedi colli eu llywydd Cristionogol, a gyfnewidiasant arfer o gymmedroldeb i fod yn dreiswyr.

Amryw gynghorion a alwyd hefyd gan Recesuinthus yn Toledo, lle y cynhygiodd iddynt ddarluniad o'r hyn a ddylai fod yn ddefnydd eu hymgynghoriadau. Dangosodd y dylent ymddiddan ynghylch dewisiad brenhinoedd, yn yr hyn yr oedd rhan fawr gan yr eglwyswyr. Ni anghofiwyd yr Iuddewon, yr rhai wedi troedigaeth mewn teyrnasiad o'r blaen, oedd yn parhau i Iuddewigaethu. Yr oedd yn flin gan y brenin y ffuantrwydd hwn, ac a fynnai ei feddyginiaethu. Pa fodd bynnag, fe ymddengys i'r annogaeth yma o eiddo'r brenin, a gorchymmynion y cyngor a barodd effaith ddymunol; canys pennaethiaid y genhedlaeth a gyfarfu, ac a 'sgrifennasant at y brenin, yn enw y rhai yn Toledo, ac yn holl 'Spaen, y rhai oeddynt yn yr un amgylchiadau; gan dystiolaethu iddo, mai er darfod iddynt hyd yr amser hwnnw arfer ffuantrwydd, heb fod yn berffaith Gristionogion, na pherffaith Iuddewon, eu bod yn ymroddi i newid eu hymddygiad, ac yn wirioneddol i gofleidio y grefydd Gristionogol.

Hwy a sicrhasant i'r tywysog hwn, na fyddai iddynt ymhellach gynnal cymdeithas â'r rhai o'u cenedl eu hunain ag oedd heb eu bedyddio; na ymarferent brïodi â hwynt, na gwneud sulw o'r Sabboth, na'r enwaediad. Addawsant labyddio neu losgi y sawl a dreisiai y rhwymedigaeth hwn. Ac os byddai i'r brenin o'i ras ganiattau eu bywydau iddynt, boddlonent fod yn gaeth-weision iddo, ac i'w heiddo fyned yn fforffed. Ond eu hymddygiad yn fuan a brofodd yn wrthwyneb i'w proffes; canys hwy nid yn unig a ail-lynasant wrth achos y grefydd Iuddewig, ond ar gyhoedd a wrthwynebasant Gristionogrwydd, yn gymmaint ag y gorfu i Ervigius orchymmyn i Julian, y pryd hynny archesgob Toledo, ysgrifennu yn eu herbyn; yr hyn yn ganlynol a wnaeth, gyd ag effaith a llwyddiant mawr, mewn traethawd dysgedig, yr hwn a gyhoeddodd ychydig cyn diwedd y seithfed ganrhif.

Egica a wnaeth achwyniad o fradwriaeth

yr Iuddewon, a'u brodyr gwasgaredig yn Affrica yn erbyn ei lywodraeth. Y tywysog hwn a amlygodd i'r cyngor a ymgynnullasai yn Toledo, fod y niweid wedi ymdaenu trwy holl daleithiai'r deyrnas: nad aethai tros yr Alps, ac ni ddaethai i mewn i Ffraingc; ond ei fod, er hynny, yn gofyn ei ystyried; ac nad ellid ei esgeuluso na'i oddef: ac am hynny yr ydoedd yn gofyn nid yn unig gyfarwyddyd y cyngor, ond ei gynnorthwy. Ar ymgynghoriad ynghylch hyn, fe benderfynwyd, fod i'r holl Iuddewon gael eu difuddio o'u rhagorfreintiau; eu cyhoeddi rhagllaw yn gaeth-weision, eu hetifeddiaethau i fyned yn fforffed, a'u plant i gael eu hegwyddori gan y Cristionogion.

Hwy a ffafrwyd etto drachefn tan Lewis, a gyfenwid Debonnair, meddyg pennaf pa un ydoedd Iuddew, yr hwn a ddarfu i rai o'r hanesyddion ei osod allan fel un o'r dewiniaid pennaf yn y byd. Yr ydoedd y fath gred iddo gan y tywysog hwnnw, fel yr oedd holl wŷr y llŷs yn dda ganddynt ennill ei gyfeillach, a'i gydwladwyr â'r anrhegion mwyaf costfawr. Caniattaodd yr ymerawdwr iddynt adeiladu synagogau newyddion, ac a gyhoeddodd amryw orchymmynion manteisiol o'u plaid hwynt. Y fath ryddid ffafrol o'u tu a fagodd eiddigedd ac anhrefn mawr yn esgobaeth Lyons. Agobard, yr hwn oedd esgob yno, a waharddasai i'w bobl werthu caeth-weision o Gristionogion i'r Iuddewon, i'w dwyn ymaith i'r Hispaen, a chadw y Sabboth. Nis gellir ammeu nad oedd gan y prelad hwn allu i wneud y fath gyfreithiau a'r rhai hyn i lywodraeth y bobl a roed tan ei ofal, ac yna a wnaeth yr hyn sydd arferol gyd â gwŷr cyfoethog, wedi meddiannu awdurdod. Fe waharddodd i'r Cristionogion brynu gwin gan yr Iuddewon, a bwytta gyd â hwynt yn amser Garawys. Yr Iuddewon a achwynasant oblegid y cyfreithiau hyn wrth Lewis; yr hwn wedi ei gythruddo yn erbyn Agobard, a dinasyddion Lyons, a ddanfonodd dri o genhadwyr i gael gwir hyspysiad.

Yr esgob a fu synn ganddo eu gweled wedi dyfod i'w dŷ ef. Rhai o'r trigolion, wedi bod ysgatfydd yn fwy euog o orthrymderau, a ffoesant ymaith. Yr esgob a chanddo fwy o awdurdod, a arhosodd i weled y canlyniadau o'r ymofyniad, yr hyn ni bu er mantais iddo, gan i'r Iuddewon gael eu hadferyd i feddiant o'u rhagorfreintiau, a'r farchnad ar ddydd Sadwrn a newidiwyd i ddydd arall o'r wythnos; fel na byddai i'r angenrheidrwydd o fasnach ar y dydd hwnnw beri iddynt dreisio'r Sabboth. Yr ymerawdwr yn ei dro oedd ganddo'r awdurdod o wneuthur trefniadau perthynol i reolaeth dinasol.

Yn y cyfamser, Agobard a anfoddlonwyd yn fawr; a chwestiynodd ynddo ei hun pa un a ydoedd y rhai hyn yn wir orchymynion yr ymerawdwr, er nad oedd le iddo ei ammau, gan fod ei sel wrthynt. Fe gyhuddodd ei benswyddogion o ffalsder, a'r Iuddewon o fynych ddwyn plant Cristionogion, mewn trefn i'w gwerthu yn gaeth-weision, ac o lawer o weithredoedd dichellgar ac anonest; gan adrodd hyn ar dystiolaeth crwydryn a elwid Corduba, yr hwn a ddywedodd ddarfod iddynt ei werthu ef yn ei febyd. Y cyhuddiadau hyn ni chawsant eu credu yn y llys, a'i wrth-gwynfanau ni chawsant ddim effaith.

Evrard, goruchwyliwr yr ymerawdwr, a barhaodd i amddiffyn yr Iuddewon, ac i ofidio archesgob Lyons, yr hwn ni adawodd o'r neilldu ddim a allai fod er amddiffyniad o'r hyn a wnaethai. Efe a ysgrifenodd yr ail-waith at yr ymerawdwr, ac a ddanfonodd iddo draethawd am y goelgrefydd Iuddewig, gyd â thystiolaeth dau esgob a gydunasai ag ef, i roddi mwy pwys ac awdurdod i'w lyfr. Fe ymdrechodd i brofi yn y llyfr hwn, na ddylai fod dim cymdeithas rhyngom â Hereticiaid, yn enwedig â'r Iuddewon, o herwydd nad oes un sectariad heb ryw erthygl o ffydd ganddo ag sydd yn gyd-gyffredin â'r eglwys.

Wedi methu o'r ymdrechiadau hyn Agobard a gymmerodd siwrnai i'r llys, i ymddadlau yn fwy effeithiol yn erbyn yr Iuddewon, y rhai yr oedd yn edrych arnynt fel gelynion personol. Cafodd wrandawiad gan yr ymerawdwr, heb gydsyniad a'i ofynion: a chaniattawyd iddo ddychwelyd i'w esgobaeth heb dderbyn dim boddlonrwydd. Ei siomedigaeth yn y daith hon a ddyblodd ei dristwch. Yr ydoedd arswyd arno rhag cythruddo'r llys trwy fedyddio rhai o'r cenhedloedd oedd y'ngwasanaeth yr Iuddewon, ac weithiau a gymmerent noddfa yn yr eglwysi i droi yn Gristionogion. Gan

hynny, fel na's gallai anturio cymmeryd y ffordd hon heb gennad yr ymerawdwr, fe ddanfonodd i ddeisyf ei ganiattâd hwn. Pa atteb a gafodd ni fedrwn wybod; ond y mae gennym reswm i feddwl oddiwrth epistol a ysgrifenodd at y dysgedig Nebutius, esgob Narbonne, nad ydoedd ddim yn dderbyniol.

Yr Iuddewon wedi cyfarfod â'r fath amddiffyn, yn enwedig yn llŷs Lewis, yn erbyn un o'r esgobion dysgediccaf yn ei oes, a barodd iddynt flodeuo yn Ffraingc. Dywedwyd ar gyhoedd yn y llŷs, y dylai hiliogaeth Abraham, a'r patriarchiaid gael eu perchi. A rhai o'r Cristionogion, a ddechreuasant gyd-ffurfio â'r defodau Iuddewig mewn llawer o bethau ag oedd yn waradwydd i'w proffes.

Ond nid oedd y driniaeth a gafodd yr Iuddewon mor ddymunol tan Charles, a gyfenwid Moel; pan y darfu i Remisius, prelad o enwogrwydd, orchymmyn rhai o'i eglwyswyr i bregethu yn eu synagogau, trwy ba foddion y bu nifer mor fawr o'u plant yn debyg o gael troedigaeth, fel y gorfu iddynt eu danfon ymaith i Vienne yn Dauphine, Macon, ac Arles yn Provence, a lleoedd eraill, pa fanau yr oeddynt yn fwy lliosog. Yr esgob a ddanfonodd achwyniad i'r llŷs, gan ddeisyfu ar y tywysog hwnnw anfon gorchymmyn at esgob Arles, &c. i ddilyn ei drefn ef, gan ddangos fod troedigaeth y plant yn weithred fwy elusengar na'u hachub o enau llew. Gyd â phob tebygolrwydd, Charles a gydsyniodd â'r deisyfiad hwn, canys nifer mawr o'r plant Iuddewig a fedyddiwyd, a'r rhai hynny oll yn ol eu deisyfiad eu hunain; a'r ymerawdwr yn fuan ar ol hynny a wenwynwyd gan Sedecias ei physygwr Iuddewig, yr hwn a feddylir ddarfod ei osod ar y weithred ddrygionus honno gan y rhai o'i genedl ei hun.

Yr Iuddewon yn Ffraingc a gyhuddwyd hefyd o fod a llaw ganddynt yn y blinderau a ddigwyddodd tan y teyrnasiad hwn, trwy doriad y Normaniaid i mewn i amryw daleithiau, yn enwedig i Aquitaine, lle'r oeddynt yn dra lliosog. Yr oeddynt o hyd yn ddarostyngol i'r ddedryd flin a gyhoeddwyd i'w herbyn gan Charlemagne, o gael eu cernodio deirgwaith yn y flwyddyn ym mhorth yr eglwys, yr hyn yn wir ni chyflawnwyd ar holl Iuddewon Thoulouse; ond yn y diwedd a gyfyngwyd i'w Syndic neu ben-swyddog, yr hwn a dderbyniodd y gosp honno yn enw'r lleill.

Gallwn chwanegu, mai er bod eu cymmeriad yn fawr yn y llŷs yn oed bywyd y bradwr Sedecias, etto'r oeddynt yn ddarostyngedig i lawer o anmharch gan y werin-bobl mewn pellder oddi wrthi. Siampl o hyn ydoedd Iuddewon Beziers, yn Langwedoc, y rhai yn flynyddol a yrrid o amgylch â chawodydd o gerrig, o noswyl Sul y Blodau, hyd Ddydd mawrth yn wythnos y Pasg; oddiwrth ba ddirmyg a digasedd, hwy o'r diwedd a ryddhasant eu hunain trwy dalu teyrnged i esgob y lle. Yn wir nid oedd ryfedd i'r Iuddewon, er eu cymmeradwyaeth yn y llŷs, fod â chymmaint casineb iddynt gan drigolion dinasoedd neillduol.

Fe ymffrostia'r Iuddewon na fu ganddynt ddysgawdwyr enwoccach erioed nag yn y ddegfed ganrhif. Ysgoldŷ newydd a gyfodwyd yn y dwyrain. Yr Arabiaid a gymmwysasant eu hunain i astudio, a'r Iuddewon a ddilynasant eu harferiad. Ar yr amser hwn Dafydd a ddewiswyd yn dywysog y gaethglud; a gwendid y califf teyrnasol, a roddodd gyfleusdra iddo i gadarnhau ei awdurdod ar sail sicrach nag o'r blaen. Ar y pryd hwn yr oedd yr Iuddewon mor lliosog, a bod dinas Pheruts Schibber ei hun yn cynnwys gerllaw mil o honynt.

Heblaw y dysgawdwyr enwog hyn ag oedd a'u genedigaeth o'r Yspaen, rhagluniaeth a drefnodd i'r Iuddewon un hynod a elwid Moses. Y dyn hwn wedi gadael y dwyrain, a'i gymmeryd gan fôr-ladron, a'i ddwyn ymaith gyd â'i fab i dueddau 'Spaen, a adbrynwyd gan Iuddewon Corduba. Hyn a wnaethpwyd o elusen, heb wybod dim am ei deilyngdod. Ond wedi dodi ei hun y'nghongl rhyw ysgoldŷ, fel gwr llŷg a thlawd, ac wedi amwisgo â sach i guddio ei noethder; fe ymresymodd mor gadarn ar yr holl gwestiwnau a gynhygid, fel y rhoddodd athraw yr ysgol ei le iddo ef. Fe'i crewyd yn ben y genedl, gyd â gwobrwydd addas. Ond a chanddo dueddiad mawr i farw yn ei wlad ei hun, fe ymrodd i ddychwelyd yno; er na oddefai y califf iddo. Y Talmud ydoedd y pryd hynny mewn ychydig o adnabyddiaeth yn 'Spaen; a phan gyfodai rhyw wrthddadleuon, y synagogau a ddanfonent gennadau i

Bagdad i gael penderfyniad iddynt. Hacem, yr hwn oedd y califf yn 'Spaen, ac ni foddlonai i'w ddeiliaid fyned yn wastadol i'r dwyrain, lle'r oedd Abbassides, gelynion ei dŷ yn teyrnasu, a'r rhai a'i difrodasant ef; da ydoedd ganddo fod Moses yn dysgu y Talmud i'r Yspaeniaid. Felly fe'i cadwodd ef, mewn trefn i attal mynedfa y cennadau, yr hyn, ysgatfydd, a barai iddo ddrwg-dybiau am danynt. Moses a deyrnasodd tros hir amser, ac Enoch ei fab a'i dilynynodd ef.

Wrth yr amgylchiad canlynol yr ymddengys, i Haschem II. brenin Corduba, yr hwn a eilw'r Iuddewon Aschasez, wneud mwy na'i dad; canys efe a orchymmynodd i'r Talmud gael ei gyfieithu i'r iaith Arabaidd; un a'i o gywreinrwydd i wybod pa beth a ddyrchafid gymmaint gan yr Iuddewon, neu ynte i beri ei fod yn fwy cyffredin yn y wlad, mewn trefn i ragflaenu y pererindodau i Bagdad a Jerusalem. R. Joseph a gymmerodd arno y gorchwyl mawr hwn, ac a'i cwblhaodd yn dra llwyddiannus; ond fe dyfodd mor falchiaidd arno fel na allai oddef yn hwy fod i Enoch gael ei ddewis o'i flaen yn bennaeth y genedl. Fe dorodd ag ef; eu hymraniad a barodd sŵn o amgylch; y synagogau a unodd ynddo; ond Enoch ydoedd â'r blaid liosoccaf. Joseph a ysgymunwyd: fe apeliodd at y brenin; ond ni fynnai Haskem ymdrin â'r achos hwn. Joseph wedi ei ymddifadu o'r amddiffyn a obeithiodd oddiwrth y llŷs, a ymadawodd â 'Spaen, ac a gymmerodd ei daith i Bagdad, lle y meddyliodd fwynhau enciliad yn agos i'r enwog Hay: ond efe a barodd iddo ddeall na dderbyniai ef, oblegid ddarfod ei ysgymuno gan y synagogau Yspaenaidd. Fe arhosodd, gan hynny, yn Damascus, lle y bu farw, heb allu cael dychweliad yn ol o'r ddedryd a osodasid i'w erbyn.

Ymrafiadau ym mhlith y Saraceniaid a gynnyddodd fwy-fwy yn Yspaen, yn oed y seithfed ganrhif. Yr ydoedd wedi ei amcanu er's hir amser i ddiorseddu y gangen hynny o'r Omiades ag oedd yn teyrnasu yno. Eu gwendid a ddiystyrwyd mor bell gan y bobl, fel wedi iddynt newid eu llywydd, gwnaethant lŵ na dderbynient un ychwaneg o'r teulu hwnnw. Nid oedd y cam-oresgynwyr lawer mwy llwyddiannus; canys yr oedd y bobl yn fuan yn tueddu i ymofyn am bennaeth newydd. Un o'r Ommiades yr hwn a fu byw i weled diddymiad ei dŷ, a gynnygiodd ei hun iddynt. Hwythau a ddangosasant iddo, mai trwy esgyn yr orsedd, y tynnai arno ei hun farwolaeth sicr. Ond ei awydd oedd drech na chariad at ei fywyd. "Lleddwch fi y foru (eb efe, ) os gwnewch fi heddyw yn frenin."

Fe gafodd yr Iuddewon rai manteision oddiwrth y cyfnewidiadau yn 'Spaen; canys R. Samuel Levi a ddaeth yn ysgrifenydd, ac yn weinyddwr y llywodraeth i frenin Grenada; yr hwn ar ol hynny a'i gwnaeth yn dywysog ei genedl; ac fe ddefnyddiodd ei dderbyniad yn y llŷs i'w hamddiffyn hwynt. Fe wasgarodd hefyd ei roddion ym mysg dieithriaid; canys dysgawdwyr o Affrica, yr Aipht, a Babilon, a dderbynient ganiattâd blynyddol ganddo. Yr Iuddewon a fwynhasant y boddlonrwydd o weled ei fab yn cael ei osod yn ei swyddau ar ei ol ef; a'r unig beth a gyfyngodd eu llawenydd oedd trahausder y gwr ieuangc hwn, helaethrwydd cyfoeth pa un a'i gwnaethai yn falch; pan yr oedd ei dad wedi cadw ei ostyngeiddrwydd yn ei ddyrchafiad pennaf. Ond rhyw dro annisgwyliadwy ar bethau a aflonyddodd y tawelwch a fwynhasant.

Joseph Hallevy, un o ddysgedigion y wlad honno, a osododd ei hun i fynu fel dychwelwr y Mussulmaniaid. Cyfieithiad y Talmud i'r Arabaeg, yr hyn a gwblhasid rai blynyddau o'r blaen, a rwyddhaodd yr amcan hwn, er darfod iddo aflwyddo. Ni allai brenin Grenada oddef yr anmharch hwn i'r grefydd sefydledig; felly fe roddwyd y rabbi Iuddewig y'ngharchar, ac ar ol hynny i farwolaeth. Yr erledigaeth a ddechreuodd wrth orchymmyn y brenin; tan ba un y darfu i bymtheg cant o deuluoedd ddioddef yn fawr. Y blinder hwn a deimlwyd yn fwy, o herwydd cyrraedd o honynt trwy lwyddiant, i gyfoeth ac awdurdod. Yr oeddynt yn ofni hefyd rhag i'r brenhinoedd cymmydogaethol ddilyn y cyfryw siampl ofnadwy: ond y trais a attaliwyd ar fyrder, ac nid aeth ym mhellach na theyrnas Grenada.

Gorthrymder mwy llym a dinystriol a brofasid ganddynt, tan y brenin Ferdinand, yr hwn trwy annogaeth ei wraig ragfarnllyd, ydoedd yn myned i gyssegru y rhyfel hwn yn erbyn y

Saraceniaid, trwy ddiwreiddiad yr Iuddewon, pe na buasai i'r esgobion, ac hefyd y pab (Alexander II.) attal ei zel orwyllt, trwy ei gwrthwynebu yn gyhoeddus a'i chondemnio. Ond yr hyn, ysgatfydd, a'u rhyddhaodd oddiwrth bob perygl gan y brenin hwnnw a'i ddilynydd, ydoedd y cyfnewidiad a barodd y Mooriaid, neu'r bobl dduon yn Affrica; mewn canlyniad i'r hyn y darfu i Alphonso, wedi ei golledu ar bob tu, gael ei hun tan angenrheidrwydd i wneud cyfeillach â'r Iuddewon, ac ymwasgu â hwynt yn lle eu gorthrymu, mewn trefn i gael eu harian a'u cynnorthwy. Yn ganlynol, fe'u dyrchafwyd hwynt ganddo i swyddau anrhydeddus, a chawsant y fath ragorfreintiau eraill, fel y darfu i'r pab Gregori gwbl anfoddloni iddynt, er na allai ei geryddon berswadio Alphonso i'w galw yn ol. Ac nid oedd gan ei ŵyr Peter I. fwy o barch i gynghorion Nicolas o Valencia. Wedi cyhoeddi y rhyfel Sanctaidd yn 'Spaen, ac mewn teyrnasoedd Cristionogaidd eraill, Peter a fwriadodd i ymrwymo yn y rhyfel hwn yn erbyn yr anghredinwyr. Nicholas a osododd o flaen y brenin hwn, mai ofer ydoedd gwneuthur chwiliad am elynion tramor yn y fath bellder, pan ydoedd cynnifer o honynt gartref: ac a chwanegodd, fod yr Iuddewon â'r fath gasineb gwreiddiol rhyngddynt â'r Cristionogion, fel na chyfarfyddent â hwynt un amser heb ddatgan melldithion ar eu pennau, &c. gyd â llawer o ymddygiadau anweddaidd eraill; i'r hyn y darfu i'r brenin, ag oedd yn wrthwyneb i erledigaeth, yn unig fenthycca clust fyddar. Pa fodd bynnag, ni achubodd cymmedrolder y tywysog hwn yr Iuddewon rhag cael eu lladd yn amryw barthau eraill 'Spaen. Ond er yr erledigaethau hyn oll, yr oedd gan y wlad ymaddigonedd o ddysgawdwyr Iuddewig yn yr unfed ganrhif ar ddeg.

Samuel Cophni, a'i enedigaeth o Corduba, a gyhoeddodd esponiad ar y Pentateuc, ysgrifenlaw pa un sydd yn llyfrgell Vatican: y rhai a'i darllenodd, a'i cyfrifant yn waith prydferth, ond a gyfaddefant fod llawer o hono yn ddamhegol neu gyffelybiaethol. Bu ymddadleu rhyngddo â difinydd o'i genedl ei hun, ac a fu farw yn y flwyddyn 1034. Ar yr amser hwnnw hefyd yr ymddangosodd y pum Isaac. Un o honynt a elwid Isaac Alphesi, a'i darddiad o Affrica, ac yn byw yn nheyrnas Fez yn 'Spaen. Fe'i cyfrifwyd ef yn un o'r dynion dysgediccaf o'i oes, ac a ddaeth yn dywysog yr Alltudiaid yn'Spaen. Yr ail Isaac ydoedd fab Baruc. Yr oedd efe â'i achau yn tarddu oddiwrth Baruc, ysgrifenydd Jeremi y prophwyd; ac yn haeru fod ei deulu, y rhai a ddaethant er amser Titus i'r Yspaen, a'u trigfa yno hyd yn bresennol. Yr oedd efe yn deall Lladin, Groeg, ac Arabaeg. Yr oedd efe wedi astudio y mathematics, neu'r gelfyddyd o rif a mesur; ac yr ydoedd mor enwog yn y gelfyddyd hon, fel y galwyd ef gan frenin Grenada y Mathematiciad, o herwydd ei serch i'r gelfyddyd hon; a danfonodd am dano i'r llŷs i gael hyfforddiadau ganddo. Fe'i derbyniwyd yno gyd â'r fath orfoledd, ac a fu byw yn y fath foddlonrwydd gyd â'r Saraceniaid o Affrica, fel yr anghofiodd ei wlad ei hun, gan aros yno hyd ei farwolaeth, yr hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1004. Bu dadl enbyd rhyngddo â'r Isaac cyntaf, a gyfenwid Alphesi. Ni ellid eu cymmodi hwynt tra fuont byw; un o honynt a roddodd arwydd o edifeirwch, a'r llall o gymmwynasgarwch. Isaas mab Baruc a fu farw gyntaf; ac wedi teimlo ei hun yn glaf, fe ddanfonodd ei fab i ddeisyf maddeuant ei wrthwynebwr, a thaflu ei hun i'w freichiau, megis i fynwes un oedd yn noddwr ac yn gyfaill ffyddlon. Y mab a ufuddhaodd; Alphesi a'i derbyniodd i'w dŷ, a'i triniodd fel plentyn, ac a barhaodd yn addysgu iddo ddirgelion y gyfraith hyd ei farwolaeth.

Y Rabbin enwoccaf yn Ffraingc yr amser hwn ydoedd R. Gerson, yr hwn a ddywed rhai ei eni ym Mentz, yn Germani. Pa fodd bynnag, yr ydoedd yn wr o Ffraingc, neu o'r hyn lleiaf, fe gyhoeddodd ei lyfr ar osodedigaethau gwladol yno. Fe debygid ddarfod talu llai o barch iddo yn amser ei fywyd nac wedi ei farwolaeth; canys darfu iddynt betruso dros hir amser y'nghylch derbyn ei gasgliad o'r cyfreithiau; y rhai ni ddechreuasant fod mewn cymmeradwyaeth hyd ganol y drydydd ganfed ar ddeg. Galwyd ef ar ol hynny, "Goleuni y Gaethglud yn Ffraingc." Un o'i ddisgyb on pennaf ydoedd Jacob, mab Jekor, cerddor, a'r hwn a ddwfu astudiodd achosion cydwybod. Y dysgawdwyr dilynol yn wastad a goffânt ei benderfyniadau ef gyd â boddlonrwydd; a hwy

a dderbynir fel cyfreithiau na ellir eu troseddu heb fod yn feius. Dywedir iddo farw yr un dydd a'i athraw. Solomon, yr hwn a astudiodd tan y ddau athraw yma, a wnaeth beth ymddangosiad. Nid yw amseryddwyr, pa fodd bynnag, yn cyttuno y'mherthynas i hyn; canys rhai a'i cyfrifant yn astudio yn y flwyddyn 1140, y'nghanol y ddeuddegfed ganrhif; ac eraill a ddywedant iddo farw bymtheg mlynedd ar hugain o'r blaen. Yr ydoedd iddo ddisgybl enwog araill, yr hwn a eilw y cyfreithwyr Albarcellonita. Hwn ydoedd Judas, dysgawdwr o Barcelona, yr hwn a ysgrifenodd draethawd ar freintiau menywod neu ferched. Cyhoeddodd hefyd un arall ar yr amserau. Eu hamser nodedig cyntaf oedd eu hymadawiad o'r Aipht. Dechreuasant un arall ar osodiad blaenaf eu brenin; o herwydd cyfnewid trefn eu llywodraeth y pryd hynny. Yr ydoedd un arall ar ddyfodfa Alexander Fawr i Jerusalem; yr hwn a ddilynwyd hyd ddegfed ganrhif yr eglwys Gristionogol. Canys Scherira, yr hwn oedd yn byw y pryd hynny, a wnaeth i'w genedl gyfrif eu blynyddau o grëadigaeth y byd. Rhai pregethau hefyd a gyhoeddwyd ganddo ef.

Yn fuan ar ol hynny, erledigaeth tra chreulon a gyfododd yn y dwyrain. Eu tylwythau pennaf a fu agos i gael eu diwreiddio; eu hathrofeudd a gauwyd i fynu, ac ni agorwyd fyth mwyach. Tywysog y caethiwed a'i deulu a ddifethwyd gan dylwyth yr Abbassides, pa un gynt a ffafrodd yr Iuddewon: a'r erledigaeth a fu mor waedlyd,fel y darostyngwyd yrIuddewon i ychydig iawn o rifedi; a llawer a ymlidiwyd i ddiffeithwch Arabia; a'r gorllewin a fu yn noddfa i'r rhai a yrrwyd fel hyn o'r dwyrain. Yn yr Aipht, hefyd, goddiweddwyd yr Iuddewon âg erledigaeth newydd tan Hacem, y trydydd califf. Pa fodd bynnag, cawsant, mewn rhyw fesur, eu had-dalu am y blinder a gyfarfuant yn y wlad hon, trwy'r sefyllfa ddymunol a fwynhasant yn 'Spaen; lle y darfu i'r ymraniadau a'r rhyfeloedd a flinodd y wlad honno beri llonyddwch i'r Iuddewon.

Tua diwedd yr unfed ganrhif ar ddeg, pan y dechreuwn eu cael yn blodeuo yn Hungari, Ladislaus, yr hwn a deyrnasodd y pryd hynny, a alwodd y'nghyd gyngor eglwysig; ym mha un y lluniwyd amryw reolau, yn arwyddo, os priodai Iuddew un o'r merched Cristionogol, neu os prynai gaethwas o Gristion, y gosodid hwy yn rhydd; a'r pris a roddwyd am danynt i gael ei fforffettu i'r esgob. Ei fab Coloman wedi dyfod i'r orsedd, a waharddodd iddynt wrth gyfraith i arfer caeth-weision Cristionogol; ond a ganiattaodd iddynt brynu a llafurio tiroedd, ar ammodau na arferent amgen na Phaganiaid yn gaeth-weision, a sefydlu eu hunain mewn lleoedd ag oedd tan lywodraeth esgob. Y ddwy gyfraith hon a ddengys fod yr Iuddewon yn alluog yn Hungari.

Yn Germani neu'r Almaen, y genedl Iuddewig a liosogwyd yn fawr; ac a adeiladasant synagogau yn y prif ddinasoedd, yn enwedig yn Triers, Cologne, a Mentz. Yr oeddynt wedi treiddio hyd yn oed i Ffranconia. Y bobl hyn a aethant rhagddynt oddi yno i Bohemia; ym mha le, yn yr unfed ganrhif ar ddeg, hwy a wnaethant y fath wasanaeth i'r Cristionogion, yn erbyn rhuthriadau y Barbariaid, fel y caniattawyd iddynt y rhagorfraint o synagog. Daethant i mewn i Hungari; a dywedir eu dychrynu trwy amryw ryfeddodau aruthrol a ymddangosodd ar ddechrau'r unfed ganrhif ar ddeg; a chan ofni fod diwedd y byd gerllaw, hwy a droesant yn Gristionogion. Yr arwyddion hyn, pa fodd bynnag, ni fu'n foddion i ddychwelyd cynnifer o honynt, nad oeddynt yn dueddol i weithredoedd o drais a chreulonedd.

Adnewyddol zel a ennynodd yn erbyn yr Iuddewon gan yCrusades,neu ryfelwyr pabaidd. Achwynant, ddarfod i'r rhai hyn wrth fyned trwy Cologne, Mentz,Woms a Spires, wneuthur llofruddiad o fis Ebrill hyd fisGorphenaf; y'mha amser y brathwyd â chleddyfau ac y boddwyd bum mil o bersonau; a bod rhifedi y rhai a wnawd iddynt ymwrthod â chrefydd eu tadau yn aneirif. Nid yw historïawyr yn lleihau y cyfrif: ond yn y gwrthwyneb hwy a'u chwanegant; gyd âg adroddiad o amgylchiadau tra chreulon ac ofnadwy. Hwy a adroddant, ddarfod i bedwar cant ar ddeg o honynt gael eu llosgi ym Mentz; ac mai, trwy'r gwrthwynebiadau, a'r annhrefn a ddigwyddodd ar yr achos hwnnw, ddarfod i hanner y ddinas gael ei dychwelyd yn lludw. Y rhai o Worms a giliasant yn gyntaf at yr esgob; ond ni dderbyniai ef hwynt oddigerth iddynt droi yn Gristionogion. Ni adawai'r bobl

iddynt amser hir i ystyried: rhai a gymmerasant arnynt Gristionogrwydd, yr hon a wadasant cyn gynted ag y diweddodd y dymmestl: eraill a wnaethant am danynt eu hunain. Rhyw beth tebyg i hyn a ddigwyddodd yn Triers. Y gwragedd wrth weled y Crusades yn dyfod attynt, a laddasant eu plant eu hunain, gan ddywedyd, fod yn well eu danfon y modd hwnnw i fynwes Abraham, na'u gadael i ddwylaw'r Cristionogion. Eraill, wedi eu beichio â cherrig, a fwriasant eu hunain i'r afon, ac a foddwyd; rhai a ffoesant i gastell yr esgob: Egilbert, yr hwn oedd yn trigo ynddo, a bregethodd iddynt, trwy'r hyn, mewn ymddangosiad, y cawsant droedigaeth; ond y flwyddyn ganlynol hwynthwy i gyd, oddigerth un, a lithrasent yn ol i Iuddewyddiaeth. Yr oedd yn esgob Spires fwy o ddynoliaeth; canys efe nid yn unig a amddiffynodd y ffoeduriaid, ond a barodd i rai o'u herlidwyr gael eu dihenyddio. Y niweid a gerddodd mor bell, a bod blynyddol gronicl y Bafariaid yn cyfrif deng mil wedi eu lladd yn y wlad honno; ac eraill a sicrhant, fod nifer y rhai a ddifethwyd yn yr Almaen yn anghredadwy.

Y'nghylch deng mlynedd a deugain ar ol hynny, cyhoeddwyd Crusade, neu ryfel sanctaidd arall (fel y galwent ef) tros y pab. Rodolphus, yr hwn a awdurdodwyd i bregethu yn ei gylch ar lennydd y Rhine, a wnaeth hynny gyd â mawr lwyddiant. Fel ag yr oedd yn un o erthyglau ei grefydd a'i athrawiaeth, fod i elynion Cristionogrwydd yn gyntaf gael eu torri ymaith, a'r rhai hynny ag oedd agos i gael eu trywanu, cyn myned i'w chwilio allan mewn gwledydd dieithr; y bobl a ennynwyd wrth y cynghorion hyn: ond ni bu y lladdiadau gymmaint ag oeddynt yn ei amcanu, oblegid i ran o honynt gymmeryd i ffoi ymaith yn brydlon a chilio i Nuremberg, a dinasoedd eraill tan yr ymerawdwr, ym mha le y cawsant well diogelwch. Rhaid in' wneuthur cyfiawnder i St. Bernard, a chyfaddef na ddarfu i athrawiaeth Rodolph ei foddhau ef. Fe ysgrifenodd at archesgob Mentz, yr hwn a ddarfuasai i'w ddidryfwr ei gyffroi trwy ei bregethiad, i brofi iddo y dylai olygu yr erledigaeth ar yr Iuddewon yn ddiddynoliaeth; ac, am hynny, fe'i cynghorodd i'w ddanfon yn ol i'r anialwch. Er hynny y tân a ymdanodd ym mhell ac yn agos trwy ei utganwyr, nid yn unig yn yr Almaen, ond yn y rhannau mwyaf eraill o Ewrop, a rhifedi mawr o'r Iuddewon a ddifethwyd, os credwn eu hamseryddwyr; tra'r oedd eraill, wedi eu gyrru i anobaith, trwy'r creulonderau ag oeddynt debyg o fyned tanynt, yn rhoi terfyn ar eu bywydau eu hunain. Yr unfed ganrhif ar ddeg a ddiweddwyd â'r erledigaethau hyn.

Yr Aipht yw un o'r gwledydd a breswyliodd yr Iuddewon ynddi hwyaf; yr oeddynt yn lliosog yn y ddeuddegfed ganrhif, pan ymwelwyd â hwynt gan Benjamin. Efe a gyfrifodd ddeng mil ar hugain o honynt ar un golwg mewn dinas ar derfynau Ethiopia, yr hon a eilw Chouts. Gwelodd ddwy fil o Iuddewon, a dau o synagogau ym Misralim, a elwir yn bresennol Cairo Fawr. Yr oedd rhyw ymryson rhwng y rhai a'i preswyliasant, heb fod o ddim gwerth: canys rhai a ddaethent o Judea, ag oedd yn rhannu pob dosparth o'r gyfraith, fel y darllenent unwaith yn unig y cwbl drosodd mewn tair blynedd, tra'r oedd trigolion eraill yr Aipht o'r blaen yn ei darlleu oll mewn un flwyddyn; megis y gwnaed yn 'Spaen a lleoedd eraill. Yma y preswyliai holl bennau synagogau'r wlad, y rhai a roent teitlau i'r dysgawdwyr, ag oedd yn cynnal achos y deyrnas gyd â'r califf. Ac ni ddarfu i'n hymdeithiwr anghofio gwlad Gosen, lle y trigodd yr Israeliaid gyhyd o amser. Fe dybiodd ei fod yn gweled peth o ôl eu hadeiladau hynafiaethol hwynt: llawer o Iudewon a giliasent yno; dau cant oedd a'u harosfa yn yr un lle, pum cant mewn lle arall, ac yn agos i dair mil yn ninas Gosen; cynnifer a hynny yn Alexandria, a thra ychydig yn Domiata. Y gweddill y mae'n eu dangos megis yn wasgaredig trwy'r holl daleithiau a'r trefydd yn yr Aipht, yn rhifedi mawr, er yn llawer llai nag a fuasent, pan oedd dinas Alexandria ei hun, megis ag y cyfrifwyd, yn cynnwys can mil o'r bobl hyn.

St. Bernard, yr hwn oedd yn elyn mawr i'r Albigensiaid, ydoedd mor hynod am ei ffafr i'r Iuddewon: efe nid yn unig a ddarostyngodd, mewn mesur mawr, eu herledigaeth hwynt, ond a ganiattaodd iddynt amryw ragorfreintiau, mewn trefn, megis y dywedodd, i wneud ffordd i'w troedigaeth. Y sant hwn a ogwyddodd y Pab Innocent II. i fod yn ffafrol iddynt: canys

fel y bu efe yn dra gwasanaethgar i'r pontiff neu archoffeiriad hwn, yn amser ei ffoedigaeth i Ffraingc, fe barodd ei feddiannu â chynneddfau o gymmedrolder ac esmwythdra. Rhesymmau St. Bernard a gryfhawyd, trwy amlygu iddo'r angenrheidrwydd ag oedd ei hun tano o oddefiant a chynnorthwy. Y pab a ddaeth yn fath ewyllysiwr da iddynt, fel yr unodd yr Iuddewon yn y rhodfa, pan ddaeth ei fawrhydi parchedig i Paris; gan orchymmyn i blŷg-lyfr eu cyfraith cael ei ddwyn o'u blaen, pa un ar ol hynny a anrhegasant iddo ef. Dywedir mai hyn a roddodd ddechreuad i'r ddefod a arferir y dydd hwn, pan osodir y pab yn ei deyrngadair. Yr Iuddewon a ddisgwyliant ei ddyfodiad yn y ffordd i St. John de Lateran, ac a'i hanrhegant â chopi o'r gyfraith; pan y dychwel efe iddynt yr atteb hwn, "Yr wyf yn perchi'r gyfraith a dderbyniasoch gan Dduw trwy ddwylaw Moses; ond yr wyf yn beio ar eich esponiad chwi o honi, o herwydd eich bod etto yn disgwyl y Messiah, yr hwn y mae'r eglwys apostolaidd yn credu fod Iesu Grist ein Harglwydd.

Yn yr Yspaen, ni bu dechrau teyrnasiad Alphonso VIII. yn ffafrol iddynt. Yr oedd efe etto megis plentyn pan ddarfu i'w dad Sanchez y Dymunol gael ei ladd gan y Saraceniaid: efe a esgynodd i'r orsedd yn ieuangc. Eithr am ei fod yn weddaidd o dymmer, fe'i hynnillwyd yn fuan. Joseph yr Iuddew ydoedd brif-weinyddwr ei lywodraeth, ac a dyfodd mor fawr a bod ganddo gerbyd llywodraeth, a gwarcheidwaid i wylio arno. Gonzales, yn swyddog tano ef, wedi ei gael yn euog o ryw fai ag oedd yn haeddu cerydd, fe fwriadodd ddifetha ei feistr a'i gymmwynaswr. Fe fynegodd i'r brenin ei fod wedi dyfeisio moddion i gael iddo swm mawr o arian; ac mewn trefn i hyn fe barodd i'r tywysog yma roddi iddo bennau wyth o Iuddewon wrth ei ddewisiad ei hun, yr hyn a ganniattawyd iddo. Felly fe gafodd ffordd ar unwaith i foddhau dwy o'i nwydau; ei gybydd-dra a'i gasineb i'r genedl Iuddewig. Fe ddewisodd wyth o'r gwŷr godidoccaf, y rhai wrth ei orchymmyn a dorrwyd eu pennau ymaith, a chymmerodd eu hetifeddiaethau yn fforffed; rhan o ba rai a roddodd i'r brenin, ac a ddefnyddiodd y gweddill yn ei achos ei hun. Efe ar ol hynny a gynhygiodd lawer helaethach swm am ganiattau iddo ugain yn rhagor. Ond ni dderbyniwyd y cynhygiad hwn, o herwydd i'r brenin ddewis yn hytrach fedi'r lleshad iddo ei hun heb dywallt gwaed, trwy wneuthur i'r rhai cyfoethoccaf o'r synagog bwrcasu eu bywydau.

Ni arosasant yma; canys fe ddadleuwyd yn y cyngor, pa un ai ni ddylid eu bwrw oll allan o'r deyrnas, a chymmeryd eu heiddo yn fforffed mewn trefn i ddigostio traul y rhyfel, heb feichio y bobl â threthoedd newyddion. Y tybiau am hyn oedd wahanol yn y cyngor, yr hyn a roddodd amser i'r Iuddewon i ystyried yn eu plith eu hunain, wneud cynhygiad o symiau mawr o arian. Hwynt-hwy, pa fodd bynnag, a lawenychasant yn fawr, pan welsant Gonzales yn syrthio i ddirmyg y'ngolwg y brenin, yr hwn a orchymmynodd ei gymmeryd ef, er cymmaint ei wasanaeth iddo: felly ei gwymp ef a barodd lonydwch iddynt hwy. Ond yr hyn y'mhellach a'u dygodd i'w ffafr a ddigwyddodd trwy syrthio o hono mewn serch âg Iuddewes ieuangc o degwch mawr, i'r hon yr aberthodd ei fantais a'i anrhydedd; ac, er ei mwyn, i'w chenedl: canys yr Iuddewon, yn cymmeryd y fantais honno a dyfasant mor alluog a balch, fel yr oedd gwŷr y llŷs a'r eglwys yn cywilyddio o'i herwydd; ac o'r diwedd yr hûd a ddiddymwyd trwy farwolaeth gwrthddrych y serchowgrwydd. Yr Iuddewon a gymmerasant fantais oddiwrth y damweiniad hwn, ac a dyfasant mor alluog, fel y darfu i R. Eliacim, yr hwn oedd yn byw y pryd hynny, ac a ysgrifenodd lyfr o'r defodau a arferid yn yr holl synagogau, a'r hwn a elwid hefyd Defodau'r Greadigaeth, gyfrif deuddeng mil o bobl ei grefydd ef yn ninas Toledo.

Yn Ffraingc, yr oedd eu ffortun yn amrywio yn fawr. Hwy a gyhuddwyd yn Paris o lofruddiad St. Williams; ac, yn gospedigaeth iddynt, fe'u barnwyd i'r tân. Yn wir, yr oeddynt yn haeddiannol o farwolaeth, os oeddynt yn euog o'r ddrwg-weithred honno; ac os na chynmysgwyd un person diniwed yn ninystr y rhai euog, nid oedd ganddynt ddim i achwyn yn ei erbyn, ond hwy eu hunain a'u creulondeb.

Yn Beziors, gwnaethpwyd yn dra chaled â hwynt. Ar Sul y Blodau, bob blwyddyn, y dechreuai rhyw gampau ag oedd yn difyru'r

bobl, y rhai, oblegid hynny, oeddynt ofalus i'w hadnewyddu. Y werin-dorf a dyrent y'nghyd yn y nos, a dramwyent yr heolydd, ac a dorrent ffenestri'r Iuddewon, ac a labyddient y rhai oll a ddeuai yn eu ffordd. Yr esgob wedi mynych rybuddio'r bobl y'nghylch yr arferion anweddaidd hyn, a'u hymbarottöad anaddas i ŵyliau'r Pasg; fe wnaeth gyttundeb â'r Iuddewon, yn y cyfamser, ac a'u perswadiodd i bwrcasu rhyddid oddiwrth y dirmyg hwn ganddo ef, trwy dalu teyrnged iddo. Y cyttundeb ydoedd dra neillduol; canys yr esgob a ymrwymodd ei hun, a'i ddilynyddion, i gadw'r Iuddewon rhag ammharch, rhag distrywio eu tai yn y dydd neu'r nos, trwy gydol yr amser rhwng Sul y Blodau a'r Pasg: gan gyhoeddi y cauid drws yr eglwys yn erbyn pawb a dorrai ddrysan'r Iuddewon: ac o'u tu hwynt fe'u rhwymodd i dalu yn flynyddol i'r esgob ddau gant o sols de melguil, yr hyn a allai gyfodi i gyd y pryd hwnnw i bedwar marc o arian (yn 13s. 4d. bob un) i brynu addurniadau i eglwys St. Nazarus. Yr ammod hwn a wnaethpwyd yn Beziers, ac a barodd esmwythdra i'r Iuddewon, nes eu gyrru o'r wlad tan Phylip a gyfenwid Augustus.

Yr Iuddewon yn Lloegr, y rhai a alltudasid allan o honi er y flwyddyn 1020, a gawsant ffordd yn ol hynny i ail-sefydlu drachefn yn y wlad honno; ac a oeddynt wedi dyfod mor lliosog yn nheyrnasiad Harri II. fel, gan na feddent y pryd hynny ond un lle o gladdfa yn Llundain, gwnaethant betisiwn at y brenin hwnnw am ganiattau iddynt fynwentydd newyddion, yr hyn yn gaulynol a ganiattawyd iddynt. Ond hwy a ddioddefasant yn fawr tan Richard I. o herwydd fod y llŷs, a'r bobl, wedi eu rhagfeddiannu â thybiau fod yr Iuddewon i gyd yn swynwyr neu ddewiniaid, ac y gallent ddwyn rhyw reibiad ar y brenin, os byddent yn bresennol ar ddydd ei goroniad. Rhybyddion llym a roddwyd i'r Iuddewon na ymddangosent yno y pryd hwnnw. Rhai, ag a ddaethent o bell ac agos, ar draul fawr, i weled cyflawni y ddefod honno, a ymroesant i beidio gollwng eu llafur na'u harian i fyned yn ofer. Gwenieithient iddynt eu hunain na adnabyddid hwynt, oblegid eu bod yn ddieithr yn y ddinas, ond hwy a gamsyniasant. Y swyddogion wedi canfod rhai o honynt yn Westminster, a syrthiasant arnynt â'u pawliau. Llusgasant hwynt allan o'r eglwys yn hanner meirwon: ond wedi i sŵn y weithred ymdanu trwy'r ddinas, parodd derfysg ym mysg y bobl; y rhai a dorrasant dai'r Iuddewon, a lladd y rhai a gyfarfyddai â hwynt. Dedwydd oedd y rhai a gawsant gyfeillion ffyddlon i'w noddi hwynt. Y cythrwfl a ymdaenodd o'r brif-ddinas trwy'r gwledydd, lle y lladdwyd nifer fawr o honynt. Y dydd ar ol y coroniad, gorchymmynwyd i'r gweithredoedd hyn o greulonderau gael eu hattal: ond pa un a fu diffyg yn y cyflawniad o hynny, neu a ydoedd yn bosibl rhoddi attalfa ddisymwth ar gynddaredd y bobl, yr erledigaeth a barhaodd y'nghylch trwy'r holl flwyddyn, yr hon ydoedd yr un hynny o'r Jubilee.

Pan y cymmerodd Richard ran yn y Crusade, neu ryfel sanctaidd tros y pab, distryw mwy etto a'u goddiweddodd. Tybiodd yr Iuddewon ddarfod iddynt bwrcasu ffafr y tywysog hwn, trwy'r symiau mawr o arian a dalasant i'w drysorfa i gynnorthwyo ei achosion, ond y bobl a ymroesant i wneud lladdfeydd cyfredinol o honynt. Hyn a gyflawnwyd yn Norwich, lle y dechreuasant. Llawer o honynt a ddioddefodd yn Stamford a St. Edmund. Y lladdfeydd ydoedd fwy dychrynllyd yn Nghaerefrog; lle'r oedd 1500 wedi goresgyn y ddinas i amddiffyn eu hunain: ond yn ol gwarchae arnynt, hwy a gynnygiasant ymostwng, a phwrcasu eu heinioes âg arian. Wedi gwrthod y cynnyg, un o honynt a lefodd allan, fod yn well iddynt syrthio trwy eu dwylaw eu hunain, na thrwy ddwylaw llofruddion barbaraidd. Wedi cryfhau eraill trwy hyn, daethant yn ddiheuyddwyr eu gwragedd a'u plant eu hunain: a chan gilio ar ol hynny i balas y brenin, hwy a'i gosodasant ar dân, a threngasant y'nghanol y fflammau oedd yn eu hamgylchu.

Bydd yn gymmwys cyn y gorphenom y ganrhif hon, i roddi cyfrif o'r rabbiniaid mwyaf enwog a flodeuodd ynddi. Ni ddechreuwn â'r rabbin dysgedig Nathan Ben Jechiel, pennaeth yr athrofa Iuddewig yn Rhufain, ac awdwr y llyfr a elwid Haruch, ym mha un y mae'n egluro yr holl ymadroddionyn y Talmud, mewn dull mor helaeth, a'i fod, mewn rhyw ystyr yn llwyr-dreulio'r testyn yn hwnnw; fel

ag y mae y rhai a ddaethant ar ei ol yn hytrach yn tynnu oddi wrtho nag yn ei wellhau, yn enwedig yr enwog Buxtorf; yr hwn a wnaeth fynych ddefnydd o'i sylwiadau, heb grybwyll ei enw.

Y mawrwych Aben Ezra ydoedd y nesaf o ran amser, er yn rhagori mewn dysg a theilyngdod; efe a gyfenwyd mewn ffordd o ragoriaeth, y Doeth; fel yn sicr yr oedd yn un o ddoethion pennaf ei oes a'i genedl. Efe a fuasai yn ymdeithydd mawr, ac yn chwiliwr diwyd am ddysgeidiaeth; yr ydoedd yn seryddwr da, philosophydd, physygwr, prydydd, a beirniad, yn yr hon gelfyddyd ddiweddaf y rhagorodd ar bawb o'i flaen, ac a berchir yn fwyaf gan y Cristionogion, oblegid ei esponiadau unionfarn ar y llyfrau cyssegredig.

Tri o rabbiniaid enwog, o'r enw Levi, a flodeuodd yn y ganrhif hon. Un wedi ei eni yn Cologne; yr hwn yn ol amryw ymddiddanion â'r Cristionogion a fedyddiwyd, ac a fu'n addysgwr yr iaith Lladin tan yr enw Herman. Yr ail, Juda Levi, yr hwn oedd brydydd da, ac awdwr yr ymddiddan a elwid Chezar. Yn drydydd, Abraham Levi, rabbi dysgedig, yr hwn a ddywedir ei fod o berthynas i Aben Ezra; a'r hwn oedd wrthwynebwr gwresog yn erbyn y Caraites, er, ym mhell islaw iddynt mewn pwngc o ymresymu ac iawn-farnu; ac felly heb fod yn alluog i ddadleu â hwynt, daeth at y brenin Alphonso VII. i'r hwn y gwnaethai lawer o wasanaeth, ac a gafodd awdurdod oddi wrtho ef i ostegu ei wrthwynebwyr.

Yn yspaid y drydedd a'r bedwaredd ganrhif ar ddeg, yr oeddynt wedi lleihau mewn modd dieithr yn y dwyrain, a hwy a erlidiwyd yn dost gan y califf yn Bagdad. Nasser Ledinillah, un o'r Abassides, ydoedd y califf y pryd hynny yn Bagdad: ei deyrnasiad ef a barhaodd saith a deugain o flynyddau, trwy gydol pa ryw amser yr erlidiodd yr Iuddewon: i'r hyn y cymhellwyd ef trwy ddau o resymmau. Un ydoedd, ei fod yn dra gwresog tros ei grefydd ei hun; canys efe a barodd adeiladu nifer mawr o demlau, a lleoedd wedi eu cyssegru i wasanaeth y Mahometaniaid o fewn ei arglwyddiaethau. Y llall ydoedd gormodol gybydd-dra. Fe ddywedir am dano ef, pan edrychodd ar gerwyn, yr hon a ddymunodd ei llenwi o aur ac arian, a chan ei gweled ryw fesur yn fyr o hynny, fe lefodd allan, "A gaf fi ddim byw ddigon o hyd i'w llenwi?" Yn y gwrthwyneb ei ŵyr Mostanger, wedi cael y gerwyn yn llawn, a lefodd, "Pa mor ddedwydd a fyddwn pe gallwn fyw ddigon o hyd i weled ei gwaghau?" Pob un o honynt a fuont fyw i ganfod cyflawniad o'u dymuniadau. Nasser, yr hwn a ewyllysiodd ei llenwi, a wnaeth ddefnydd o gyfraith dirwy neu fforffed, yr hon oedd anadnabyddus o'r blaen; ac a'i priodolodd i ddilyniad marsiandwyr dieithrol a fyddent feirw yn ei arglwyddau. Goludowgrwydd yr Iuddewon a dynnodd arnynt drais mawr oddiwrth y tywysog trachwantus hwn, ac yn y diwedd erledigaeth cyhoeddus: oblegid Nassar a orchymmynodd iddynt ymadael o'i holl derfynau, neu droi yn Fahometaniaid: rhai o honynt a aethant i alltudiaeth; ac eraill a ddewisasant aros ar yr ammodau a gynhygiwyd iddynt.

Trwy'r rhyfel a wnaeth y Saraceniaid â'r Cristionogion yno, yngystal ac yn Syria, Judea a ddiboblogwyd yn fawr. Y rhan fwyaf o'r dinasoedd yn fynych a newidiasant eu meistriaid. Er hyn oll yr oedd etto ddysgawdwyr a synagogau ynddi. Canys yma yr ydoedd yr enwog Moses Nachmanides wedi cilio, ac adeiladu synagog. Efe a anesid yn Gironne; a ymrodd i astudio physygwriaeth, ond ar ol hynny a wnaeth gynnydd mawr yn astudiad y gyfraith, yr hyn a roddodd iddo yr enw o Dad y Doethineb, y Goleuad, a Blodau'r Goron. Y bregeth a wnaeth o flaen brenin Castile, a barodd i'r enw o Dad yr Areithiad. Ramban (yr hwn yw'r enw y mae'n gyffredin yn myned tano) ar y cyntaf a ddiystyrodd y gyfraith gabalyddaidd; ond wedi iddo unwaith gael prawf o honi, fe'i deallodd i'r perffeithrwydd mwyaf. Nis gwyddom paham y darfu i Ramban, yr hwn oedd yn mwynhau cymmaint o barch yn ei wlad ei hun, ei gadael hi i fyned i Jerusalem: ond y mae'n sicr iddo symmud yno, adeiladu synagog, a diweddu ei ddyddiau. Ni chyttuna awdwyr y'nghylch yr amser pendant o'i farwolaeth. Fe gyfansoddodd weddi ar ddinystr y tŷ neu'r deml; llythyrau i annog pobl i dduwioldeb; ac yn enwedig i'w hannog i'r cyflwr o lân briodas. Fe ddwfn ystyriodd y dadleuon oedd yn blaenori yr amser hwnnw, ymherthynas i

ddaliadau y Meumonides; ac a wnaeth amddiffyniad tros R. Alphes, yr hwn a enwodd yn Llyfr y Rhyfeloedd. Afreidiol yw chwanegu cofrestr o'i waith, yr hyn a welir mewn lle arall. Baruch Gemersheim hefyd a adawodd ei wlad, i effeithio diwygiad y synagogau yn 'Spaen. Oddi yno fe aeth i Candia; ac o'r diwedd a geisiodd nodded yn Judea, lle y bu efe farw.

Y cenhedloedd barbaraidd oMameluwciaid a Thartariaid wedi diboblogi yr holl fanau a aethant trwyddynt, y sefydliadau ag oedd gan y deg llwyth yn y wlad hon a ddifethwyd, a'r genedl a wasgarwyd. Pa fodd bynnag, hwy a ymostyngasant i'r meistriaid newyddion hyn o Asia, ac ar brydiau fe'u ffafrwyd yn eu llŷs. Akmed Khan, a gyfenwid Nicoudar Oclan, wedi iddo drais-feddiannu gorsedd ei nai, troi yn Fussulmiad, ac wrth hynny a dynnodd arno gasineb ei ddeiliaid, y rhai oeddynt yn gogwyddo yn fawr at Gristionogrwydd, ac yn gwrthwynebu Mahometaniaeth. Argoun Khan, yr hwn mewn anmhwyll a oddefodd gam-feddiant ei ewythr, a dorrodd allan o Chorasan, i ba le y ciliasai, a'r lle y gorchfygwyd, ac y cymmerwyd ef yn garcharor. Ei aflwyddiant hwn a'i dyrchafodd i'r orsedd; canys Lemir Buga, yr hwn a orchymmynasid i'w ladd, a ymgyssylltodd âg ef; ac wedi gorddiwes penciwdawd ei ewythr, a'r ymerawdr, yn Bagdad, fe orchymynodd ei gymmeryd ymaith, ac a esgynodd ar orsedd ei dad.

Yn y Gorllewin, ac yn enwedig yn 'Spaen, eu nifer a'u hawdurdod, ar brydiau, a gynhyrfai eiddigedd yr eglwyswyr, y rhai a'u herlidiodd hwynt. Hyn a ddigwyddodd yn nechreu y drydedd ganrhif ar ddeg yn Toledo. Esgob y ddinas fawr honno a genfigenodd wrth weled ei esgobaeth wedi ei llenwi â lliaws o Iuddewon goludog, ac yn ewyllysio cyfoethogi ei hun â'u hyspail, fe gythruddodd y bobl yn eu herbyn. Yr esgob hwn, pa un ydoedd o dymmer boeth ac anesmwyth, a ymdriniai â phob achos perthynol i heddwch a rhyfel; ac nid oedd dim o bwys yn cael ei weithredu yn 'Spaen, heb ei fod â llaw ynddo. Ei astudrwydd a'i derchafasai i esgob-dŷ Toledo, er iseldra ei enedigaeth, a'i darddiad o deulu cyffredin yn Castile. Pobl ei esgobaeth a deimlasant yn fuan ei fod yn gymhwysach i weinyddu yn y llywodraeth, neu i fod yn gadflaenor mewn rhyfel nac yn esgob. Ond yr Iuddewon a ddioddefasant fwy oddi wrtho ef na neb rhai eraill: canys, gan osod ei hun yn ben ar gâd o werinos y rhai a godasai, efe yn derfysglyd a aeth i mewn i'w synagog, a wasgarodd y gynnulleidfa, ac yna aeth yn mlaen i aurheithio eu hanneddau. Fe ymdrechodd i gyfiawnhau ei drais hwn trwy gyhuddo'r Iuddewon o fradychu'r ddinas pan warchaewyd hi gan y Mooriaid, neu'r bobl dduon: ond nid yw debygol i'r gwarchaedigion adael y ddinas, a myned i bellder oddi wrthi, neu y rhoddent i fynu ei chadwraeth hi. Heblaw hynny cyttuniad y trigolion oedd yn ddiogelwch iddynt; canys rhoddwyd cennad iddynt i ymadael â'r wlad, a chymmeryd eu heiddo gyd â hwynt. Caniattawyd hefyd iddynt saith o eglwysydd, ar yr ammod o wneud i fynu y trethoedd a dalesid i'r Gothiaid: a'r Iuddewon y rhai a gynhwysid yn y cyngrair oeddynt â rhyddid cydwybod yn cael ei ganiattau iddynt.

Anffawd arall yn fuan a ddilynodd hyn; canys y Crusadiaid, y rhai oedd yn parottoi i wneud ymgyrch i'r Tir Sanctaidd, ac a gyfarfyddent yn agos i'r ddinas hon, a gwblhasant yr hyn a ddechreuasai y prelad, oddi ar dybiau y byddai i ddinystr y gelynion hyn i Gristionogrwydd ddwyn bendith ar eu hanturiaeth, fel na ddarfu i'r llofruddwyr hyn osod un terfyn i'w creulondeb. Abravanel a olygodd yr erledigaeth hwn fel un o bedwar llymmaf a ddioddefodd y genedl hon; canys yn ol y cyfrif a rydd ef am dano, gyrrwyd mwy rhifedi o Iuddewon allan o'r Yspaen, nag a ddygodd Moses allan o'r Aipht. Pendefigion 'Spaen a ymdrechasant i wrthsefyll y llifeiriant hwn o greulonderau, trwy eu hawdurdod. Ond y brenin Ferdinand, yr hwn a geisiodd ennill ewyllys da y bobl trwy erlid yr Albigenses, a Hereticiaid cyfrifol eraill, yr hwn a osododd y pentwr ar dân ar ba un y llosgwyd hwynt, i ddangos gwresogrwydd ei zel, ni allai fod yn ffafrol i'r Iuddewon, y rhai ffieiddiaf o bawb eraill.

Yn ol eu hegwyddorion, yr Iuddewon a ddylent yn sicr feio eu hunain am eu blinderau, ac ystyried eu hunain fel y prif-achosion o honynt; canys, yn ol eu cyfaddedfiad eu hunain, yr oeddynt wedi syrthio i ddau fath o bechodau gwaeddfawr. Yr oedd rhyw amrywiaeth yn

eu Tephilim. Eu gofal coel-grefyddol am eu phylacterau, ar eu pennau a'u dwylaw ydoedd hynod mewn amserau boreuol, ond a gynnyddodd mewn oesoedd ar ol hynny. Ië, llun ac addurniadau eu llythyrenau ydoedd fater o betrusder ac ymddadleu rhwng synagogau yr Almaen â'r rhai yn Portugal; ac â'r Yspaeniaid yn gwahaniaethu yn y materion hyn, hwy a godasant derfysg yn nechau'r drydedd ganrhif ar ddeg; canys R. Baruc a wnaeth daith o'r Almaen i'r Yspaen, i'w gwaradwyddo oblegid eu newydd-der a ddygasent i'w synagogau. Heblaw hyn yr oeddynt yn 'Spaen yn euog o gam-ymddygiadau mwy amlwg; canys ni phettrusent mwyach brïodi merched dieithr: oblegid fel y gwaharddasid iddynt yn llym ymbriodi â Christionogion, mae'n debygol iddynt ymgyssylltu yn amlach â merched y Saraceniaid. Moses de Cozzi a lysodd y priodasau hyn. Yr ydoedd efe o deulu Italaidd, ac am hynny y cadwodd arno yr enw o Cozzi yn y Milanse, o ba le y daethai: ond efe a anesid yn 'Spaen, ac a gyfrifid yn un o rabbiniaid pennaf ei oes. Yr oedd yn wrthwyneb i'r ymgyssylltiad hwn â rhai o rywogaethau eraill. Fe bregethai yn fynnych ar yr achos hwn, ac o'r diwedd fe lwyddodd i beri iddynt ei glywed; canys amryw a roesant heibio y gwragedd dieithr a briodasent. Yr ydoedd yn agos i 12000 o Iuddewon yn Toledo.

Yn yr amser hwn, Raymond de Pennaforte, prïor y Dominiciaid, a feiasai eisoes ar y trais oedd wedi ei arfer yn rhy fynych i ddifetha, yn hytrach nag i ddychwelyd yr Iuddewon, ac a annogodd wneuthur defnydd o hyfforddiadau esmwythach. Fel yr oedd mewn cymmeradwyaeth mawr â Iago I. brenin Arragon, cyffeswr pa un ydoedd, a gweinyddwr yn fynych i'r pab, fe berswadiodd y tywysog hwn y dylid darostwng trahausdra y bobl; i osod rhwymau ar amryw i astudio yr Arabaeg a'r Hebraeg, i'w cymhwyso i ddadleu â'r Iuddewon a'r Saraceniaid, a'u harwain at Gristionogrwydd trwy eu hargyhoeddi o'u cyfeiliornadau. Canmolant lawer ar y llwyddiant a gafodd ym mysg y Saraceniaid, a chadarnhant iddo ddychwelyd uwchlaw deng mil o honynt; a bod dymuniad gan y Mooriaid o Affrica i wneuthur yr un peth; ond nid ydynt yn mynegi mor eglur am droedigaeth yr Iuddewon. Fe sylwir yn unig ddarfod eu meddiannu â pharch mawr i'w berson, fel cydnabyddiaeth o'i ddull esmwyth a chymmedrol o ymddwyn tu ag attynt. Y brenin Iago o Arragon, ar ei ddeisyfiad ef, a gyhoeddodd amryw ddeddfau; ac er nad oeddynt mor llym ag a fuasai rhai eraill, etto yr oeddynt yn cwttogi y rhyddid gynt a fwynhasent.

Alphonso X. brenin Castile, a roddodd swydd i rabbi arall, Isaac mab Sid, yr hwn a gyfansoddodd y tablau astronomaidd, y rhai yn ol hynny a elwid Alphonsonaidd, ac a gedwid mewn cyfrif mawr ym mhlith y dysgedigion, y rhai a roesant eu hunain i astudio y gelfyddyd honno. Moses, mab Tibbon, yr hwn oedd yn byw y pryd hynny yn nheyrnas Grenada, a gyfieithodd holl egwyddorion Euclid; ysgrifen-law pa un sydd etto yn weledig yn Rhufain. Dywedir iddo addysgu ym Montpellier pan y cyfansoddodd ei waith. Alphonso ar achosion eraill hefyd a wnaeth ddefnydd o honynt; ac wrth ymddangos yn noddwr mor haelionus, fe gynhyrfodd eiddigedd y brwd-frydwyr, ac a'u dododd ar waith i ddyfeisio bradwriaeth a chyhuddiadau newyddion i'w erbyn; ac ysgatfydd mai y'nghylch yr amser yma y bu i dri o ddihirwyr dinas Oriena yn Andalusia fwrw corph marw i mewn i dŷ Iuddew, a'i gyhuddo ef o lofruddiad. Yr enllib hwn wedi ei daenu trwy y ddinas, y bobl a laddasant yr holl Iuddewon a syrthiai i'w dwylaw. Rhai o honynt a ddiangasant i dai eu cyfeillion; ond fel yr oedd yn ŵyl y bara croyw, ac heb ddim o hono i'w gael, buont yn agos i farw o newyn, gan ddewis yn hytrach ymprydio na throseddu y gyfraith. Trigolion Palma a ddilynasant yr Orsoniaid yn lladdedigaeth yr Iuddewon, y rhai a ddeisyfasant ar eu brodyr i ddanfon cennadwyr i'r llŷs, i roddi attalfa ar y llofruddiaeth ag oedd debyg o brofi yn gyffredinol. Yr erlidwyr a ddilynasant y tri Iuddew a aethai yn gennadwyr yn dra agos, a chyrhaeddasant y lle o'u blaen, o herwydd i'r cennadyddion orfod gadael y brif-ffordd a chilio o'r neilldu i goedwig, rhag ofn syrthio i ddwylaw eu herlidwyr.

Joseph, blaenor y gennadwri, a ddadleuodd gyd â'r fath ffraethineb, fel y rhyfeddwyd wrtho gan yr holl lŷs. Y brenin a ryddhaodd y genedl oddiwrth fwriadol lofruddiaeth; ond er

hynny a geryddodd yr Iuddewon am ocraeth anghymmedrol, gwychder eu gwisgoedd, a'r coegni gyd â'r hwn y rhodiai y ffoaduriaid hyn yr heolydd, yn y fath fodd ag i gynhyrfu eiddigedd ei ddeiliaid. Gofynodd iddynt pa ham yr addysgent ganu, pan yn hytrach y dylent wylo? Paham yr arferent eu meibion i ddysgu defnyddio y cleddyf, pan nad oeddynt fyth yn myned i ryfel? Yr Iuddewon a esgusodent eu hunain trwy ddywedyd, fod eu cenedl â chymmysg o ddynion da a drwg ynddi, fel y Cristionogion; a bod y brenin wedi beio yn unig ar wychder gwisgiadau'r Iuddewon heb grybwyll am eu merched, yr hyn a barai iddynt dybied na pherthynai y cyhoeddiad iddynt hwy.

Iago I. brenin Arragon a barchai eu rabbiniaid dysgedig mor fawr ag i gymmeryd addysg o foesoldeb ganddynt. Dymunodd ganddynt y llyfrau o ddefosiwn a chrefydd a gyfansoddasant. R. Jona, yr hwn oedd yn byw yr amser hwnnw, a ysgrifenodd at Jona arall yn Gironne i gael ei gyngor, pa fodd y dylai ymddwyn y'mherthynas i archan brenin Arragon, yr hwn a orchymmynasai iddo ysgrifenu llyfr, i hyfforddi dyn yn nyledswyddau crefydd a duwioldeb. Yr ydys yn meddwl hefyd mai i'r Jona hwn y dylid tadogi cyfansoddiad llyfr defnyddiol mewn perthynas i ofn, ond a gyfrifir yn gyffredin i'r Jona arall, ac a gyfieithwyd i amryw ieithoedd. Y rabbiniaid, yn y cwbl, oedd raid eu bod mewn ffafr fawr gyd â'r tywysog hwn, gan ei fod yn cymmeryd ganddynt hwy ei addysgu yn rheolau crefydd a moesau.

Yn Langwedoc, goddiweddwyd yr Iuddewon â blinderau tra erchyll. Ni allai dim wrthsefyll y llifeiriant a redodd ar bob tu, ac a wnaeth ddifrod dychrynllyd pa le bynnag y daeth. Hwynt-hwy yn enwedig a oddiweddasant yr Iuddewon i gyfoethogi eu hunain â'u hanrhaith; etto nid oedd y Cristionogion yn ddiangol, o herwydd yr achlysur lleiaf oedd ddigon o esgus i yspeilio eu tŷau. Achwyniadau a wnawd wrth y pab yr hwn oedd yn aros yn Avignon, ond y bobl a ddiystyrent ei ysgymmuniad a'i felldithion. Iarll Toulouse a osododd y cyfreithiau mewn gweithrediad i'w herbyn. Cymmerodd rai o honynt, ac a'u gwnaeth yn garcharorion; ond y bobl a agorasant y carcharau, a'r monachod a dorrasant eu cadwynau. Yr oedd yr Iarll yn ewyllysio arbed rhai o'r Iuddewon, ond y dyn i'r hwn y rhoisai ofal eu cadwraeth a'u traddododd i'w gelynion, ac fe gafodd y siomedigaeth o'u gweled yn dyfod i'w ddinas i wneud i weddill y genedl droi yn Gristionogion. Hwy a ymostyngasant i hynny i ochelyd eu lladd.

Y llofruddiaeth a barhaodd yn Bourdeaux, Ajen, Castel-Sarasin, a dinasoedd eraill. Y rhai a giliasant i Narbonne, yn dychymmygu fod y dymestl trosodd, a aethant allan o'u henciliad; ond hwy a gyfarfuant ar y ffordd â llu o yspeilwyr, y rhai, wedi eu cynnorthwyo gan bobl y wlad, a'u tarawsant â min y cleddyf. Brenin Ffraingc wedi blino ar gynnifer o greulonderau, a orchymmynodd eu herlid ymaith yn ddiymarbed. Y gwŷr ardderchog a ymarfogasant wrth orchymmyn y brenin, ac a wnaethant iddynt gilio i Navarre ac Arragon. Dygasant gyd â hwynt yr un tueddrwydd yno, a pharhausant yn yr un annhrefn. Brenin Arragon a ymarfogodd i'w herbyn, a osododd y tywysog Alphonso uwchben y fyddin, yr hwn a wnaeth i flaenor yr Yspeilwyr gael ei ladd gan bennaeth ei wŷr meirch, ac a wasgarodd y lleill. Rhai o honynt a syrthiasant trwy y cleddyf, a'r lleill trwy haint oedd ar led y pryd hwnnw.

Ffynhonnell arall o drueni i'r Iuddewon a gyfododd oddiwrth y pla, y rhai a feddylid eu bod yn achos o hono. Cyhuddwyd hwynt o gyd-fradwrio â llafurwyr Mesura, i wenwyno dwfr yr afon, ac o roddi defnyddiau iddynt i hynny, hwy a fwriwyd i garcharau, a hysbysiad a lettywyd yn eu herbyn. Eu diniweidrwydd a brofwyd; ond y brenin, yr hwn oedd yn anewyllysgar i addef yr anghyfiawnder a wnaethai yn attal y fath nifer o garcharorion tros gyhyd o amser, ar gau achos, a dystiodd ddarfod iddo eu cau i fynu yn unig i'w dychwelyd hwynt; ac ar eu gwrthodiad o dderbyn Cristionogrwydd, pymtheg mil o honynt a farnwyd i'r tân i gael eu llosgi.

Er i'w cyfaill a'u noddwr Alphonso XI. fod yn hollol tan gyfarwyddyd un Joseph o Astigi, golygwr trysor ei deyrnas, er hynny deiliaid gwrthryfelgar ei deyrnas a'i cymmhellasant i osod allan orchymmyn yn eu herbyn ar gyfrif

anmharch a gymmerent arnynt ddarfod ei wneuthur gan fachgenyn o Iuddew i arlwy yr ordinhad gyssegredig, fel yr ydoedd yn cael ei ddwyn trwy'r heolydd. Galwyd cyngor y'nghyd y nos honno, i ystyried pa un a leddid neu a alltudid hwynt; pan orfyddodd y cyngor o du eu halltudio. Eu dedwyddwch ydoedd ddarfod i'r tywysog-brenhinol fynu ailchwilio allan y weithred, wrth yr hyn y cafwyd mai Cristion ieuangc, chwant-edrychiad pa un a'i dygodd at ffenestr i weled tyrfa y rhodiad crefyddol yn myned heibio, ac ar ddamwain a ddadymchwelasai ddwfrlestr a safai yn y ffenestr, pa un a dywalltwyd yn anfwriadol ar lestri yr ordinhad a ddygid o amgylch. Y brenin ar hyn a alwodd yn ol ei orchymmyn er siommedigaeth i'r erlidwyr, y rhai a roesant allan ddarfod cam-dystiolaethu ar yCristionogion, er mwyn ffafrio eu gelynion. Hyn pa fodd bynnag ni attaliodd y werin rhag rhuthro ar yr Iuddewon mewn dinas arall, lle y lladdwyd hwynt ar gyfrif yr un achlysur ag a grybwyllwyd; a gallasai fyned lawer ymhellach, pe na buasai i'r brenin orchymmyn dihenyddio deg o flaenoriaid y terfysgwyr.

Nid cynt yr aeth y niweid hwn trosodd, nag y syrthiasant i un arall mwy ofnadwy. Digwyddodd cythrwfl i'w herbyn yn Toledo. R. Ascher wedi ffoi ryw amser o'r blaen o le ei enedigaeth Northembourg, a giliodd i Toledo gyd â'i wyth mab. Un o honynt yn gweled llofrudd yn torri i mewn i'w dŷ i'r diben i'w ladd ef, a syrthiodd i'r fath radd o gynddaredd, ag i ladd ei holl berthynasai oedd wedi eu cau i fynu gyd ag ef. Brathodd ei wraig ei hun â'r cleddyf, a'r eiddo ei frawd Jacob, yr hwn oedd wr hynod am ei ddidueddgarwch tra fu byw, megis yn gwastadol ddysgu eraill yn rhad, er nad ydoedd ei hun ond tlawd; a gadael o'i ol lŷfr rhagorol o'i waith a elwid Turim, yr hwn sydd gasgliad o gyfraith wladol ac eglwysig. Yr Iuddew uchod wedi lladd ei holl berthynasau, a wnaeth am dano ei hun rhag ofn syrthio o hono i ddwylaw y Nazareaid. Rhai a osodant yr erledigaeth hon yn y flwyddyn 1340, ond eraill a'i cyfrifant naw mlynedd yn ddiweddarach; o herwydd fod Alphonso XI. yr hwn a ffafrasai Iuddewon er dechrau ei deyrnasiad, yn fyw yn y flwyddyn 1349. Ar ei farwolaeth caniattaodd oddefiad i'r terfysgwyr y rhai ni allai eu darostwng.

Ar ddiwedd y ganrhif hon, ni chafodd yr Iuddewon driniaeth llawer mwy fafriol nag yn ei dechreuad. Achwynasant fod y monachod, y rhai a ewyllysient wneud eu hunain yn ffafriol yn y llŷs, neu gyd â'r bobl, yn caru ymddangos yn elynion anghymmodlon iddynt hwy. Un o honynt a gafodd awdurdod, trwy'r frenhines, i'w halltudio oll allan o'Spaen. Ond y dywysoges hon wedi ei chynghori i beidio torri i lawr, neu ddadwreiddio gwinwydden ag oedd yn dwyn ffrwyth da, a ddihuddwyd â swm o ddeng mil a deugain o goronau aur. Dioddefasant lawer ychwaneg tan deyrnasiad Henry III. Brenin Castile, yr hwn nid oedd pedair blynedd ar ddeg o oedran pan esgynodd i'r orsedd. Martin, archdiacon Astigy, wrth bregethu yn heolydd Seville a Corduba, a ennynodd feddyliau'r bobl yn y fath fflam yn erbyn yr Iuddewon, fel y bu'n achos o'u mwrddro hwynt. Y fflam a ehedodd i Toledo, Velencia, a Barcelona, lle'r anrheithiwyd rhai, ac y lladdwyd y lleill, tra y darfu i'r rhai boneddiccaf newid eu crefydd, i ddiangc rhag cynddaredd y gwerinos. Synagogau Seville a Corduba, y rhai oeddynt mor lliosog, a wasgarwyd gan amlder yr encilwyr. Henry, a'u herlidiodd hwynt. Y rhai a giliasant i Andalusia, a lleoedd eraill,a lofruddiwyd gan y trigolion. Ei fab Ioan ydoedd mor annynol ag ef ei hun. Y rhai a ymguddiasant eu hunain yn nheyrnasiad y tad, a ddifethwyd yn druenns tan y mab, o herwydd gwahardd iddynt holl angenrheidiau bywyd, a hwy a wahaniaethid yn hawdd wrth ddarn o ddilledyn coch a orchymmynid iddynt arfer ei wisgo.

Ym mhlith yr amryw bennau coronog sy'n llywodraethu cenhedloedd y ddaear, prin y gellir cael neb mor ffafrol yn gyffredin i'r Iuddewon a'r pabau Rhufeinaidd. Tra'r oedd y rhai hyn yn erlid y Cristionogion, a'r nad oedd ddarostyngedig i'w cyfreithiau, gyd â chreulondeb a diddynoliaeth mawr, fe ddewisid yr Iuddewon ganddynt yn oruchwylwyr eu hachosion bydol, a chaniattaent iddynt lawn ryddid cydwybod. Y mwynder hwn tu ag attynt a darddodd yn bennaf oddiwrth anallu y genedl Iuddewig i ddrygu'r esgob-dŷ sanctaidd; pan oedd y Protestaniaid mor lliosog a nerthol a'u bod yn

bygwth ei sefydliad: ond yn wir un gangen o'r awdurdod oruchel a arferid gan y Pab, ac a draddodid i'r Jenitiaid, trwy arferiad cyfraith ddieflig y chwil-lys, ydoedd o neillduol niweid i'r Iuddewon; a hwy ar amryw achosion a wahaniaethid â chreulonderau anghydmarol.

Yn nhalaith Britany yr oedd yr Iuddewon yn dra lliosog; a thrwy fod y rhan fwyaf yn ocrwyr, fe dlodwyd y bobl. Y marsiandwyr a'r boneddigion a achwynasant o'i herwydd. Ioan Rufus ydoedd y pryd hwnnw yn dduwc Brittany, wedi i'w dad Mauclerc roddi heibio'r llywodraeth. Y tywysog hwn a gasglodd bendefigion y dalaeth y'nghyd, ac ordeiniwyd, ar ddeisyfiad yr esgobion, abadwyr, barwniaid, a chaeth-ddeiliaid Britany, fod i'r Iuddewon oll gael eu hailtudio tros fyth allan o'r dalaeth hon. Dyledwyr yr Iuddewon a ryddhawyd oddiwrth rwymedigaethau eu dyledion iddynt; a'r rhai a dderbyniasent wystlon ganddynt a ganiattaed iddynt eu cadw. Y rhai oll a laddent Iuddew a gyfrifid yn ddieuog, a'r barnwyr a waherddid i dderbyn achwyniad yn eu herbyn, neu eu dwyn i brofiad. Penderfynwyd hefyd annerch brenin Ffraingc y'mherthynas i beri i'r gorchymmyn hwn i gael ei gyflawni yn ei arglwyddiaethau ef; hynny yw, gyrru allan yr Iuddewon o'i deyrnas, eu diosg o'u meddiannau, a chaniattau rhyddid i'w lladd. Duwc Britany a ymrwymodd trosto ei hun a'i hiliogaeth, tros yr amser presennol a'r un i ddyfod, i sefyll at yr unrhyw orchymmyn neu ordinhad; ac os digwyddai ei dorri, fod i'r esgobion feddu ar awdurdod, nid yn unig i'w ysgymuno, ond i gymmeryd yn fforffed ei diroedd yn yr esgobaethau, heb olygu dim o'r rhagorfreintiau a feddiannodd, neu a allai eu meddiannu mewn amser i ddyfod. Yn ddiweddaf, cyhoeddodd, na byddai i un o'i gaethweision yn Britany gael ei gymmeradwyo ganddo, nes cymmeryd o hono lŵ o flaen dau esgob, neu ddau farwn, i sylwi ar y gyfraith hon, ac i beidio goddef un Iuddew yn ei diriogaethau. Chwaneger at hyn, y cyngor mawr yn Lyons, pan ysgymunwyd yr ymerawdwr, a osododd allan ddau orchymmyn newydd. Trwy un, tywysogion ag oedd â deiliaid Iuddewig ganddynt a orchymmynwyd i beri iddynt ddychwelyd i'r crusadiaid yr holl arian a ynnillasent trwy drais oddi arnynt, tan boen ysgymundod i rai, ac eraill a ddifuddid o freintiau cymdeithas wladol. Trwy'r ail, yr Iuddewon a waherddid i ofyn eu dyledion gan y crusadiaid hyd eu dychweliad, neu hyd oni dderbynient dystiolaeth awdurdodol o'u marwolaeth. Cyngor Vienna hefyd, wedi ei alw yn yr un ganrhif, a orfu iddo amddiffyn y Cristionogion rhag y gorthrymder a ddioddefent trwy ocraeth yr Iuddewon. Ond etto'r Iuddewon a fedrent gael moddion i gynnal eu cymmeradwyaeth, er yr holl ordinhadau a rhagocheliadau hyn; yn gymmaint a chael o honynt yn rhai o daleithiau Ffraingc, yn enwedig yn Langwedoc, y rhagorfraint o gael eu dyrchafu i swyddau gwladol; ac, yn y rhan fwyaf o fanau yn y deyrnas, i gael caeth-weision; amgylchiad a barodd anghyfleusderau mawr, a cham-ymddygiadau tost yn fynych.

Yr Iuddewon a aethant tan ail erledigaeth yn y flwyddyn 1320; ac nid cynt yr aeth yr anhap hwn trosodd, nag y syrthiasant i un arall. Historiawyr a 'sgrifenant, ddarfod i Saracen, brenin Grenada, wedi ei flino yn fawr wrth gael ei drechu mor fynych gan y Cristionogion, geisio ffordd o ymwared oddi wrthynt mewn rhyw ddull amgen na thrwy arfau. Galwodd am yr Iuddewon oedd yn ei deyrnas, ac a ofynodd iddynt, a ydoedd un ffordd i wenwyno yr holl Gristionogion? Cymmerasant hwy arnynt y gwaith hwn; ond, wrth feddwl na allent ei gyflawni eu hunain, megis eu bod eisoes yn cael eu drwg-dybio, hwy a roesant arian i rai gwahanglwyfus, gan amlygu eu hamcan iddynt, yr hyn ydoedd i wenwyno dyfroedd ffynhonnau ac afonydd. Wedi gwobrwyo y gwahangleifion hyn, a chan obeithio y'mhellach i gyfoethogi eu hunain âg yspail y meirwon, hwy a ymgynnullasant y'nghyd yn bedwar cyngor gwahanol, a chydffurfiasant eu hamcanion ynddynt. Y dyfroedd a gafwyd wedi eu gwenwyno yn Ffraingc a'r Almaen, neu Germani.

Gwr ag oedd yn blaenori yn Pernai, a ddanfonodd at y brenin gennad o'r gwahangleifion a welsai o fewn ei derfynau, a'r hwn a gyfaddefodd ddarfod ei wobrwyo gan Iuddew cyfoethog, yr hwn a roisai y cyfarwyddyd iddo. Y gwahangleifion yn ganlynol a ddygwyd i brofiad, a rhai a gauwyd i fynu mewn carcharau, ac eraill yn eu tai adwythig, gan wabardd

iddynt fyned allan. Trigolion Langwedoc, heb aros wrth ffurfiau angenrheidiol cyfraith, a'u llofruddiasant yn y fath ddull barbaraidd na's gellir ei ddarllen heb ddychryn, tra'r oedd y rhai condemniol yn myned i'r tân, a dihenydd-iau eraill, gyd â'r fath orfoledd a phe buasent yn myned i wledda, neu gynnal gŵyl arbenig.

Y blinderau olaf a thostaf a ddioddefodd yr Iuddewon yn Ffraingc, ydoedd tan lywodraeth Charles VI. Y tywysog hwn wedi dyrysu yn ei synhwyrau, neu, fel yr haera y rhai coel-grefyddol wedi ei reibio; yr Iuddewon a gy-huddwyd o amryw lofruddiau, a gweithred-oedd ysgeler eraill; o ba herwydd rhai o hon-ynt a grogwyd, eraill a fflangellwyd, ac amryw gospedigaethau llymion eraill a arferwyd, yr hyn a wnaeth i lawer o honynt broffesu y ffydd Gristionogol. O'r diwedd y cyhoeddiad hy-nod a ymddangosodd, yr hwn a alltudiodd eu holl genedl allan o deyrnas Ffraingc.

Yn Lloegr, hyd yn oed mor foreuol a theyrn-asiad y brenin Stephen, yn y flwyddyn 1145, yr Iuddewon a gyhuddwyd o groeshoelio Crist-ion ienangc, o ddirmyg ar y grefydd honno, ac yn ganlynol a gospwyd o'i herwydd: cospwyd hwy drachefn am yr un weithred echrydus yn Nghaerloyw, yn nheyrnasiad Harri II. yn y flwyddyn 1181; ond rhai a farnasant, ac nid heb debygolrwydd, mai cyhuddiadau ffugiol oedd y rhai hyn, mewn trefn i orthrymu a chneifio personau neillduol o'r genedl honno o'u meddiannau. Y brenin Ioan a deyrnasodd gyd â thoster: fe feichiodd yr Iuddewon â threthi trymion; a phan ddechreuasant ei om-medd o arian, fe'i carcharodd hwynt; ac a gyfododd oddi arnynt trwy fesurau treisgar, yr hyn ni allai feddiannu wrth orchymmyn. Heb ei foddloni â'r trais hwn, fe gymmerodd yn fforffed etifeddiaethau yr holl Iuddewon yn ei deyrnas, ac a'u halltudiodd o honi trwy gyhoedd-iad a osodwyd allan i'r pwrpas hwnnw.

Gosodwyd trefn gan Harri III. i ddychwel-yd yr Iuddewon oedd yn ei deyrnas; yr hwn a farnodd na's gallai wneuthur hynny yn fwy effeithiol, na thrwy adeiladu athrofa i dderbyn y dychweledigion. Rhoddodd ofal y gorchwyl i wr celfyddgar, yr hwn a ddygodd yr amcan ym mlaen gyd â diwydrwydd mawr. Pawb a ewyllysient droi neu ddychwelyd a gai yma noddfa ddiogel, pan fyddent fyw yn heddych-ol, heb eu darostwng i gaeth-wasanaeth neu ocraeth. Llawer a gymhellwyd gan segurdod, a'r addewid o gael eu cynnal heb boen a llafur, i ddyfod i mewn iddo, fel yr amlhaodd nifer y tröedigion, a'r adeilad a safodd tros amryw flynyddau.

Ym mhen amser ar ol hynny, yr Iuddewon yn Norwich a gyhuddwyd o ddwyn ymaith blentyn Cristionogol, a'i gadw tros yspaid blwyddyn; ac, ar ol enwaedu arno, amcanent ei groeshoelio ar ŵyl y Pasg. Ond wedi cael datguddiad o'r amcan, ni chafodd y bai fyned yn ddigosp. Y cyffelyb gyhuddiad a ddyg-wyd yn erbyn rhai Iuddewon yn Llundain, bedair blynedd ar ol hynny, gyd â rhyw am-gylchiadau tra hynod. Y plentyn wedi ei werthu iddynt gan ei rieni, a'i groeshoelio, a chael o'r gweithredoedd eu hamlygu trwy ryw ddatguddiadau nad ydynt werth eu hadrodd, y bobl a'i cyssegrasant yn ferthyr, a'r rhelyw neu weddill ei gorph a gadwyd yn ofalus. Pa fodd bynnag ni ellid cael allan y llofruddwyr; yn unig rhai Iuddewon a'r a adawsant Lundain y'nghylch yr amser hwnnw, a dybiwyd eu bod yn euog.

Y flwyddyn ganlynol, yr holl genedl hon a ddychrynodd, o herwydd erledigaeth y Cru-sadiad yn Yspaen, Ffraingc, a'r Almaen: wrth ofni gan hynny rhag i'r dymestl ehedeg tros y môr, a syrthio ar drigolion Brydain, hwy a'i rhagflaenasant, ac a bwrcasasant orchymmyn neu gyhoeddiad gan y brenin, yn gwahardd i ddim niweid gael ei wneuthur iddynt trwy ei holl arglwyddiaethau.

Wedi i'r brenin, o herwydd aflwyddiant, fod tan fynych angenrheidrwydd am arian, Galfrid, ei ben gweinidog, a feddyliodd nad oedd ffordd hawddach i'w cael nag ym mysg yr Iuddewon. Ar eu gwrthodiad, gan hynny, o dalu y sym-iau mawrion yr oedd yn eu gofyn, hwy a gy-huddwyd o wneuthur llofruddiaeth yn Llun-dain; ac, ar ol amryw ddioddefiadau gofidus, gorfu iddynt dalu y drydedd ran o'u holl etif-eddiaethau. Ac nid oedd hyn ddigonol i'w llwyr ddiogelu; canys ym mhen pedair blynedd ar ol hynny, y tywysog anniwalladwy hwn a ofynodd anrhegion newyddion gan ei ddeiliaid. Gwrthododd yr hyn a ddygasai yr abadiaid a'r

prioriaid iddo, pan na chyfrifid hynny yn ddigonol, ac a ofynodd am fwy. Ni arbedid yr Iuddewon yn y gofynion hyn. Derbyniodd ei hun yr aur a anrhegwyd, ac a wnaeth i'w swyddogion dderbyn yr arian. Un Iuddew neillduol, a elwid Aaron, a orfu dalu iddo bedair mil o ddarnau aur, a'i swyddogion yr un cyfrif o ddarnau arian. Yr un Aaron a drethwyd, saith mlynedd ar ol hynny, o ddeng mil o farcau aur, a phedair mil ar ddeg o farcau arian, i foddio'r frenhines, a chael ei ryddhau allan o garchar. Nid oedd y rhan arall o'r Iuddewon yn fwy dedwyddol; hwy a gyhuddwyd o wneuthur arian, a ffug-lunio sel y brenin; ac, ar yr achlysuron hyn, hwy a'u beichiasant â threthoedd. Yr oedd ganddynt eu trysordy a'u barnwr neillduol eu hunain: ysgatfydd iddynt ynnill trosodd y barnwr hwn trwy anrhegion: o'r hyn lleiaf y gorthrymwyr a gyhuddid o'u ffafrio, i gael y fantais o'u cneifio hwynt yn eu tro.

Ioan Lunel, er yn eglwyswr, ni allodd ddiogelu ei hun oddiwrth y cyhuddiad hwn. Fe achwynwyd ddarfod iddo dderbyn symiau helaeth oddiwrth amryw Iuddewon, am eu hamddiffyn o flaen y frawdle, a lleihau eu trethoedd. Y brenin a oddefodd iddo gael triniaeth greulon, a'i gospedigaeth a fuasai etto yn fwy, pe na buasai i un o weinidogion pennaf y brenin gael maddeuant iddo. Cafodd marchog ar ol hynny fyned tan yr un gospedigaeth: efe a gyhuddasid o dderbyn gwobrwy gan yr Iuddewon, golygwr ar ba rai ydoedd; ac o ddarfod iddo ffugio ysgrifen-rwym, wrth ba un y dodasai sel y brenin, a ymddiriedasid iddo yn achos yr Iuddewon. Achwyniaeth a ddygwyd at y brenin; a'r bai a roddwyd yn ol gan y cyhuddedig ar yr Iuddewon, y rhai a'i cynnorthwyasent ef. Pa fodd bynnag, ni allai ochelyd ei hun oddiwrth ddwylaw cyfiawnder, heb golli ei swydd, a dirwy nid ychydig gael ei osod arno.

Fel yr oedd symiau newyddion yn cael eu gofyn drachefn ganddynt, y rhai ni allent eu talu, Elias o Lundain a lefarodd trostynt oll, ac a arwyddoccaodd i'r cyngor, mai gan eu bod yn penderfynu eu suddo hwynt i dlodi, fod yn well iddynt eu hymlid allan o'r deyrnas, neu ganiattau rhyddid iddynt i ymadael; gan, ysgatfydd, y gallent gael lle tan ryw dywysog arall oedd yn feddiannol ar beth cyfiawnder a dynoliaeth: y gwyddai y brenin yn dda, mai er gosod y cospau trymaf arnynt, na's gallent wneud i fynu y swm a ofynid. Pa fodd bynnag, gommeddodd y cyngor ryddid iddynt i ymadael o'r deyrnas; ond y dreth a gymmedrolwyd, a thrwy y moddion hynny tynnasant oddi wrthynt yr ychydig oedd ganddynt yn weddill. Pa fodd bynnag, y brenin Harri a adnewyddodd y trethiad y flwyddyn ganlynol. Fe arwyddodd, mai er yr holl drethi a godasai ei fod yn parhau i ymddyrysu mewn dyled. Addefodd hefyd yn gyhoeddus, fod ei ddyled gymmaint a dau neu dri chan mil o farcau, wrth 13s. 4d. bob un; a'i fod tan angenrheidrwydd i ddiwallu traul ei deulu; a chael wyth mil o farcau yn ychwaneg gan yr Iuddewon. Arwyddasant hwythau ar hynny i'r brenin, eu bod yn barod i ymadael â'r deyrnas, a bod ocrwyr y Pab wedi gorphen eu hanrheithio. Y brenin wedi gwallgofi â'r gommeddiad hwn, a'u gwerthodd i'w frawd Richard. Ni amheuwyd na fyddai i Richard eu trin yn arwach na'i frawd, a gofyn taliad a ddyblai ei ddyled am danynt; ond efe a dosturiodd wrthynt, o herwydd iddo ddeall am eu tlodi a'u cyfyngder.

Yn 'chwanegiad at y drygau hyn, yr Iuddewon yn Lincoln a gyhuddwyd o lofruddio plentyn. Yr oedd tri amgylchiad neillduol yn y cyhuddiad hwn. Un ydoedd, ddarfod i'r rhai o Lincoln wahawdd pedwar Iuddew allan o bob dinas yn Lloegr, i gynnorthwyo yn yr aberth. Yr ail, ddarfod i'r llofrudd gyfaddef, pan addawyd iddo ei fywyd, fod yr aberth hwn yn cael ei adnewyddu bob blwyddyn, er na chafodd yn wastadol ei ddatguddio. Y trydydd ydoedd, ddarfod i'r brenin, wedi gommedd cadarnhau'r addewid o achub yr Iuddewon, nid yn unig ei farnu ef i farwolaeth, ond cymmeryd un ar ddeg a phedwar ugain yn garcharorion yn Llundain, a chospi amryw eraill â dihenyddiad.

Harri III. yn ol mynegiad rhai, a'u halltudiodd allan o Loegr, trwy orchymmyn diadlam na ellid ei alw yn ol. Yr achosion o'r alltudiad hwn a fernir yn wahanol. Hanesydd Iuddewig a ddywed, eu cyhuddo gan y brenin o waethygu arian y deyrnas. Y brenin a gafu yn hawdd ddiniweidrwydd y rhai cyhuddol,

ac mai'r tystiolaethwyr oedd yn euog o'r bai a osodasent ar eraill. Ond, er hynny, hwy a aethant ym mlaen â'u cyhuddon, gan ddwyn tystion gyd â hwynt. Y brenin yn eu gweled â gogwydd mor greulon tu ag attynt, a ofnodd rhag i'r bobl lwyr-ddilëu y genedl honno; ac, oblegid hynny, rhoddodd orchymmyn iddynt i ymadael o derfynau ei wlad. Y rhan fwyaf o awdwyr Cristionogol a gyttunant y'mherthynas i orchymmyn o alltudiad, a osodwyd allan yn erbyn yr Iuddewon ar ddiwedd y drydedd ganrhif ar ddeg, tan deyrnasiad y brenin Edward; a phrawf eglur a welir o hono yn rhai dadleudai yn Lloegr. Triver a sicrha, ddarfod i Edward III. alltudio'r Iuddewon allan o'i deyrnas; rhoddi arian iddynt i'w trosglwyddo i Ffraingc, a chymmeryd eu meddiannau yn fforffed ar ol hynny. Polydore Virgil a gyfrif y gorchymmyn cyhoeddus hwn i gyngor a gynhaliwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1291; yr hwn yn ewyllysio gwahanu y defaid oddiwrth y geifr, a archodd, trwy ordinhad gyhoeddus, i'r Iuddewon ymadael o Loegr ym mhen ychydig ddyddiau, gan roddi rhyddid iddynt i gymmeryd eu meddiannau gyd â hwynt. Hwy a ufuddhasant i'r gorchymmyn; "a'r modd hwn y darfu i'r genedl yma, y rhai oedd yn aneirif o rifedi yn Lloegr, ymadael o honi am byth: a chrwydrasant yn barhaus o'r naill lei'r llall, nes eu llwyr golli, a'u coll ni fydd dra niweidiol, tra y gadawont i ni eu llyfrau cyssegredig, heb y rhai y byddai anhawdd cynnal ein crefydd mewn amser i ddyfod." Edward, y flwyddyn o'r blaen, y gyhoeddasai y fath orchymmyn arall tros yr holl daleithiau a feddiannodd yn Ffraingc. Dywedir mai'r achos o'r gorchymmyn llym hwn, ydoedd, ddarfod i'r Iuddewon, wedi myned i gyfeillachu gormod â'r Cristionogion, eu llygru hwynt. Pa fodd bynnag y bu hynny, y mae'n amlwg na ymddangosasant yn gorph o bobl yn y deyrnas hon wedi'r amser hwnnw, nes eu hail alw iddi yn amser Oliver Cromwel.

Amryw gyhuddiadau a wnaethpwyd yn erbyn yr Iuddewon yn yr Almaen, neu Germani; a lladdiad dychrynllyd o honynt a gymmerodd le yn Ffrancffort, tan deyrnasiad yr ymerawdwr Ffrederic. Dinas Nuremberg hefyd a gafodd anghlod am lofruddiaeth dra dychrynllyd o'r bobl hyn, y rhai a fygythid ac a erlidid i'r graddau eithaf ar bob cyhuddiad bychan. Y rhai a ffoesant i Bohemia ni pharasant yn hir heb eu hafionyddu; canys yno trigolion Prague, wedi anfoddloni iddynt gynnal eu Pasg, a ddewisasant yr amser hwnnw i losgi eu synagog, y'nghyd â'r holl addolwyr a gynhwysai.

Yn oed rhai erledigaethau a ddioddefodd y bobl yma yn 'Spaen, Ioan II. brenin Portugal, a ymrôdd i ganiattau noddfa iddynt o fewn i'w arglwyddiaethau, yn bennaf fel y gallai gyfoethogi ei hun â'u hyspail. Lleshad ei deyrnas hefyd oedd yn gofyn, fod iddo roddi cynhwysiad i'r Iuddewon, gan ba rai y derbyniasai gymmaint o wasanaeth. Efe a ddanfonasai rai o honynt i dueddau Ormus, a'r Môr Coch; y rhai a ddygasant iddo hanes ffyddlon, ac a'i gwasanaethant yn y datguddiad o'r India Ddwyreiniol; etto nid oedd yn eu caru hwynt. Er hyn oddiar egwyddor o gallineb fe'u derbyniodd, ond fe osododd rwymau geirwon arnynt. Pob un a orfu dalu iddo wyth o goronau aur am y rhagorfraint o noddfa yn ei wlad. Efe hefyd a bennododd amser, tu hwnt i ba un ni byddai gyfreithlon iddynt aros o fewn ei diriogaethau heb ymrwymo i fod yn gaethion. Y ddau ammod a gyflawnwyd trwy amryw ffoaduriaid a giliasant i'r deyrnas hon, ac ar ol hynny a ddewisasant yn hytrach fyw yn gaethion, na rhoddi eu hunain yn agored i aflwyddiant newydd. Achwynant, ddarfod iddo anfon nifer mawr o honynt i Ynysoedd y Lladron, a ddatguddiasid yn ddiweddar, lle y buont feirw yn druenus. Ond ar yr un pryd hwy a gysurasant eu hunain â dychymmyg, fod y Nefoedd yn dial arno; canys efe a fu farw yn ieuangc; a'i fab, yr hwn, trwy briodi Isabela, a ddaeth yn etifedd amryw deyrnasoedd, a syrthiodd oddiar ei farch i'r Tagus, o ba le y cymmerwyd ef i dŷ llafurwr, ac y bu farw; fel y digwyddodd y goron i gangen o deulu arall.

Emanuel, yr hwn a ddilynodd Ioan yn y teyrnasiad, a ymddangosodd yn dosturiol tu ag y trueiniaid gorthrymedig hyn, ac a'u hadferodd i'w rhyddid. Ond y cyngrair a wnaeth âg Isabela, a Fferdinand a fu'n achos iddo gyfnewid ei feddyliau cyntaf. Isabela, y frenhines falchiaidd a rhagfarnllyd honno, a addefodd yn amlwg, na fynnai ddyn i fod yn fab-ynghyfraith iddi a ddioddefai elynion eu crefydd yn ei

deyrnas. Emanuel, gan hynny, a aberthodd yr Iuddewon a'r Mooriaid i gyngrair a dybiodd a fyddai'n fwy er ei fantais. Fe ganiattaodd i bob rhai o honynt ryddid i ymadael a'i arglwyddiaethau; a chadwodd ei air â'r rhai diweddaf, megis yn ofni, os amgen, i ad-daliad gael ei wneuthur ar y Cristionogion yn Affrica. Ond efe a dreisiodd ei ffydd yn ddyblyg â'r Iuddewon, trwy eu hymddifadu o'r rhyddid i gymmeryd ymaith eu plant gyd â hwynt uwchlaw pedair blwydd ar ddeg o oedran; yr hyn a'u darostyngodd i'r cyfryw feddyliau anobeithiol, fel y lladdodd rhai o honynt eu hunain; ac eraill, gan aberthu naturiaeth i'w crefydd, a ddaethant yn hunain-ddihenyddwyr. Heblaw hyn, wedi pennodi iddynt dri o borthladdoedd, o ba rai yr oeddynt i gymmeryd llongau, hwy a'u cyfyngasant i un, fel y gorfu iddynt newid eu mesurau, cymmeryd taith ddwbl, a threulio eu harian. Yn fyr, yr oediad a roddwyd i'r ymadawiad o'r wlad, a barodd gyfyngder ar lawer. Ym mhlith y rhai a droisant yn Gristionogion, i ochelyd y lliaws o flinderau a welsant fod o'u blaen; llawer a driniwyd yn arw oddi ar amheuaeth rhy gyfiawn am eu difrifoldeb: a rhifedi mawr a laddwyd ar yr ychydig achos cyntaf. Pa ryw flinderau oll a ymddengys ddarfod eu hannog yn ormodol, trwy'r creulondeb a'r bradwriaeth a arferodd y brenin Emanuel at y bobl belbulus hyn.

Yr anffawd hwn a osodir ar yr Iuddewon gan rai historiawyr, ag sy'n sirchau, ddarfod iddynt ei dynnu arnynt eu hunain; oblegid i rai o honynt ar ol proffesu Cristionogrwydd yn gyhoeddus, a'u bedyddio, eu cael yn cynnal gŵyl y Pasc mewn dull Iuddewig yn ddirgel: ond Mariana a ddylid ei ddewis o flaen yr holl awdwyr tramor ac Ellmynaidd. Y mae, er hynny, yn wir, ddarfod i'r rhan fwyaf o'r rhai a arosasant yn 'Spaen a Phortugal ymrithio yn lle dychwelyd, yr hyn yw effaith naturiol erledigaeth mewn materion crefydd. Y peth mwyaf hynod ydyw, fod y grefydd yma yn ymdaenu o genhedlaeth i genhedlaeth, ac yn hanffodi y'mhersonau ffuantwyr o bell hiliogaeth. Yn ofer y gwna gwŷr mawrion Yspaen gyfathrachau, newid eu henwau, a chymmeryd iddynt arwyddlenau hynafiaethol; fe wyddis yn barhaus eu bod o hiliogaeth Iuddewig, ac yn Iuddewon eu hunain. Eu crefydd-dai o Fynachod a Mynachesau sydd lawn o honynt. Y rhan fwyaf o'u canonwyr, eu chwilwyr, a'u hesgobion, a darddant oddiwrth y genedl hon. Y'mhellach efe a ddug brawf o'i dystiolaeth am danynt trwy ddatgan, fod yn synagog Amsterdam, frodyr a chwiorydd, ac agos berthynasau i deuluoedd enwog yn 'Spaen a Phortugal.

Joseph mab Joshua, yr hwn a barhaodd ei amseryddiaeth hyd y flwyddyn 1554, ydoedd ŵr o 'Spaen, a'r historiawr goreu a fu gan y genedl hon er amser Josephus. Ben Virgae ydoedd Yspaenwr arall, yr hwn a gasglodd amryw reolau angenrheidiol i ddeall y Gemara, y rhai ydynt o fwy gwerth, o herwydd eu hanghofio gan ddehonglwyr eraill. Isaac Cardoso, yr hwn oedd a'i ddisgynfa oddiwrth a ffuantwyr yn Portugal, a ddaeth yn un o brif-physygwyr Castile; lle'r ysgrifenodd ei draethawd Yspaenaedd y'mherthynas i ddefnyddioldeb dwfr ac eira, a diodydd oerion a chynnes. Ond o'r diwedd wedi blino ar ymddieithrad, fe adawodd Yspaen a'r grefydd Gatholic, gyd â'r enw Ferdinand, yr hwn a dderbyniasai wrth ei fedyddio, ac aeth ymaith i Verona y'nghylch diwedd y ganrhif olaf. Fe argraphodd ei draethawd, ym mha un y mae'n ymhelaethu ar neillduol ragorfraintiau y bobl Iuddewig, yr hyn a ddylai beri iddynt gael eu hanrhydeddu er eu blinderau a'u gwasgariad, y rhai y mae Duw yn unig yn eu danfon arnynt er cospedigaeth am eu pechodau. Y mae'n sylwi ddarfod i'r genedl yma gael ei dewis gan Dduw; mai hwy a neillduwyd ganddo o'r holl genedlaethau eraill; ddarfod iddynt dderbyn y sabboth a'r enwaediad o'r nefoedd; ac i'r Bod Dwyfol eu hyfforddi trwy ddynion o berchen ysprydoliaeth. Am ba resymmau y mae'r chwil-lys yn gwylio yn wastadol ar y Cristionogion newyddion hyn; ac fe'u drwg-dybir yn barhaus gan weinyddwyr creulon y frawdle hon, y rhai sydd yn cyfoethogi eu hunain â'u hyspail. Y drwg-dyb lleiaf am danynt sydd yn ddigon i'w gwneud yn euog. Canys yn wir, pan ddigwyddo rhyw ddamwain yn y deyrnas, y bobl a'u cyhuddent hwy o Iuddeweiddio yn y dirgel, ac o ddwyn dwyfol ddialedd i lawr. Siampl o hyn a welwyd ar ddechrau'r ganrhif ddiweddaf, pan y darfu i un o'r Dominiciaid ddodi ei hun wrth

ben y terfysgwyr hyn; y rhai a anrheithiasant, a ddifrodasant, ac a laddasant bedair neu bum mil o'r proselytiaid yma.

Achosion yr Iuddewon a niweidiwyd yn fawr gan fuddugoliaethau Tamerlane. Canys y congcwerwr hwn wedi sefydlu ei brif-ddinas yn Samarcand, a aeth i Cosasan, lle'r oeddynt yn lliosog. Fe oresgynodd Bagdad, a'r holl Irac; aeth rhagddo i Syria, lle'r anrheithiodd Damascus: gorchfygodd Basazet, yr hwn oedd yn teyrnasu yn Anatolia, lle'r oedd sefydliad helaeth gan ei genedl: ac fel y difrododd yr holl fannau y daeth ei luoedd iddynt, nid rhyfedd oedd i'r Iuddewon gael eu hanrheithio a'u gwasgaru trwy'r ymgyrch hwn.

Er bod corph y genedl yn aros yn Persia a Media; etto, fel ag yr oedd eu hathrofeydd wedi eu difetha, ac na allai'r celfyddydau flodeuo y'nghanol terfysgoedd rhyfel, eu gwŷr dysgedg, a phennau y caethiwed, oeddynt er's hir amser wedi anymddangos; a'r bobl gyffredin, y rhai a wasgarasid yn y taleithiau a'r dinasoedd, oedd a drych gwael arnynt, o herwydd eu hanrheithio. Dywedir iddynt godi eu pennau tan Ishmael Sophi, sylfaenwr y teulu a deyrnasodd yn Persia.

Y tywysog hwn, yn cyfrif ei hun a'i ddisgyniad oddiwrth Ali, a gynhullodd y rhai hynny oll oedd yn gogwyddo at y blaid hon, a'r holl rai aflwyddiannus a'i dilynent ef. Ni chafodd ond saith neu wyth mil o wŷr yn Caramania, yr hon yw Cilica hynafiaethol; ond â'r rhifedi bychan yma, fe ruthrodd i mewn i un o daleithiau Media, a lladdodd Ferokhead y brenin. Y fuddugoliaeth gyntaf hon, wedi ei hennill yn bedair blwydd ar ddeg, a'i dododd mewn addasrwydd i gymmeryd Tauris, yr hon a gymmysg rhai haneswyr ag Ecbatana, a'i wneud ei hun yn bennaeth nid yn unig ar y rhan arall o Media, ond ar Persia hefyd.

Yr hynod Shah Abbas a gymmerodd yn llaw erlid yr Iuddewon; yr hyn a roddodd achlysur i laddfeydd cyffredinol hir amser ar ol ei farwolaeth. Yr achos a adroddir y modd hwn. Fel yr oedd cynghorwyr y tywysog hwn yn gosod o'i flaen, fod poblogrwydd Persia yn anaml, fe benderfynodd addaw rhagorfreintiau mawr i'r rhai oll a ddeuant i sefydlu yno. Lliosowgrwydd o bobl o'r holl barthau cymmydogol a ddaethant ym mlaen, ac yn enwedig nifer mawr o Iuddewon, y rhai trwy edwicca, neu flaen-ymachub mewn masnach, a dyrrasant lawer o gyfoeth. Hwy yn fuan a gynnyrfasant eiddigedd y trigolion eraill, y rhai a ddygasant eu cwynion i'w herbyn at y Sophi. Nid oedd un ffordd i'w cospi heb roddi tramgwydd i ddieithriaid eraill; y rhai y buasai trais ar y rhagorfreintiau a ganiattasid iddynt tros amryw flynyddau, yn eu darostwng i fyned ymaith. Ond fe gafwyd yn yr Alcoran, fod y genedl i gofleidio y grefydd Fahometanaidd chwe' chant o flynyddau ar ol ei chyhoeddiad, neu i gael ei hollol ddifetha. Abbas, yr hwn oedd o naturiaeth yn greulon, a gyflawnasai orchymmyn Mahomet, ac a dorrasai ymaith yr holl Iuddewon, pe na buasai i'r Muffti ei attal ef. Fe benderfynwyd, pa fodd bynnag, i wysio henuriaid y genedl o flaen brawdle y Sophi, i atteb i'w ofynion.

Ar yr achlysur hwn y Shah a'u holodd yn neillduol y'nghylch diddymiad eu haberthau, a'r defodau eraill, yr arferiad o ba rai a ddarfuasai er's ennyd o amser. Ar ol amryw resymmau a chwestiwnau y'nghylch hyn, Abbas a benderfynodd fod iddynt bennodi amser i ymddangosiad eu Messia, gan addaw, hyd hynny, oddefiad iddynt: ac os deuai yn gyfattebol, y byddai iddo ef, a'r rhai ar ei ol, gofleidio eu crefydd hwynt: ond os, yn y gwrthwyneb, na fyddai iddo ymddangos, gorfyddai i'r Iuddewon droi yn Fahometaniaid, neu ddioddef colli eu bywydau, eu plant, a'u heiddo. Ar ol dwys ystyriaeth, pennodasant yr amser yn ddeg mlynedd a thrugain. Abbas a wnaeth iddynt dalu yn ddrud am eu goddefiad; a pharodd i'r cyttundeb gael ei ysgrifenu a'i arwyddo gan bob ochr; ac a drethodd yr Iuddewon i ddau filiwn o ddarnau aur.

Cant a phymtheg mlynedd a aethai heibio wedi teyrnasiad Abbas, ac etto ni feddyliasai neb am y cyttundeb a wnaethid rhwng Abbas â'r Iuddewon. Ond dywedir i ni, ddarfod i Abbas II. yr hwn a ddechreuodd ei deyrnasiad yn 1642, wedi cael ychydig o heddwch, wrth droi trosodd ar ryw ddiwrnod ddalenau coffadwriaethau'r palas, gyfarfod o hono yn nydd-lyfr ei dad, y cyttundeb rhwng yr Iuddewon a Shah Abbas I. Hyn a barodd iddo ryfeddu yn fwy, am fod un Zabathai Tzevi yn gwneud sŵn mawr yr amser

hwnnw, a'r rhan fwyaf o'r Iuddewon a edrychasant arno ef fel y person a ddaethai i'w rhyddhau o tan eu rhwymau. Efe a gasglodd y'nghyd gyngor mawr, i ystyried y'nghylch achos mor bwysig; ac ynddo fe gyd-benderfynwyd i ddifetha, yn ddiymaros, y genedl honno oedd yn amlhau mewn twyllwyr a hudolwyr, pa rai oedd yn ymdrechu yn unig i orthrymmu eraill o ddynolryw.

Gorchymmyn yn ganlynol a roddwyd i holl breswylwyr arglwyddiaethau y Sophi, yn ddieithriaid a genedigion, i syrthio ar yr Iuddewon, a pheidio arbed rhyw nac oedran, oddigerth y rhai a droai yn Fussulmen, neu Fahometaniaid. Y lladdfeydd hyn a ddechreuodd yn Ispahan, prif-ddinas ei deyrnas. Fe'i gweithredwyd gyd â'r un barbariaeth yn nhaleithiau Scyra, Ghetan, Humadan, Ardan, a Thauris, lle'r oedd sefydliadau yr Iuddewon. Y dihenyddiad a barhaodd dair blynedd, heb un golwg o ddynoliaeth na thrugaredd gan y Persiaid. Yn gymmaint na ddiangodd yn fyw un Iuddew yn yr holl daleithiau eang hynny, lle y pentyrrasant drysorau anfesuredig. Rhai a ffoisent rhag y barbariaeth i diriogaethau y Tyrciaid a'r India, gan ymwadu â'u crefydd.

Abbas wedi golygu y rhan fwyaf o'r dychweliadau hyn megis yn ffuantus ac o orfod, nid yw anhebyg iddynt beri iddo gasbau myned ymhellach, a'i dueddu i adferyd iddynt gyflawn ryddid i'w crefydd, yr hyn oedd arfer y Persiaid ei ganiattau i bob dieithriaid. Yr ydym yn darllen yn ganlynol, ddarfod iddynt ei fwynhau tros hir amser, nes i weinyddwr llywodraeth, ag oedd a chas iddynt, neu ag amcan ganddo i gyfoethogi ei hun trwy erledigaeth, gyffroi ei feistr i wneud iddynt droi yn Fahometaniaid. Fe ddefnyddiodd ei holl rym, heb arbed trais na thynerwch i fyned ym mlaen â'i amcan. Yr ydoedd hefyd orchymmyn y tywysog, yn gwahardd ymarferiad o'r grefydd Iuddewig yn ei arglwyddiaethau: ond er hyn i gyd, nis gallodd ei effeithio; canys, ar fanwl ymholiad, fe gafwyd, mai pa rith bynnag a wnaethant o Fahometaniaeth, eu bod etto yn arfer Iuddewiaeth; fel ag yr oedd angenrheidrwydd i ganiattau iddynt droi yn Iuddewon drwg drachefn, gan na ellid eu gwneuthur yn Fussulmiaid da. Yn y cyfamser, y rhai hynny oll ag sydd yn Ispahan, ydynt yn dlawd a thruenus, ac yn fychan o rifedi.

Yr Iuddewon ydynt dra lluosog yn Lar, prif-ddinas talaeth, ym mha un y mae ganddynt gyfle wedi ei osod iddynt i fwytta wrth droed y mynydd, rhwng y ddinas a'r castell. Hwy hefyd a wasgarwyd ar led i dueddau Ormus a Bander Abassi, mewn trefn i loffa i fynu rhyw ychydig o'r masnach a ddygir ym mlaen rhwng yno a'r India, lle'r ydoedd gynt amryw frodyr iddynt. Yn wir hwy a wahaniaethid i ddau ryw, un a anesid yn Indiaid, ac a droisant yn Iuddewon; a'r lleill a'u disgyniad o hiliogaeth Abraham. Brenin Portugal, er iddo eu gyrru allan o'i deyrnas, etto a'u goddefodd yn Goa, a mannau eraill, lle y cynhalient addoliad crefyddol.

Yr Iuddewon a gynhaliant eu hunain yn Bagdad, lle y mae ganddynt synagog, ac yn bresennol ydynt yn gwneuthur rhan o'i phreswylwyr; ond eu nifer a gynnyddant yn fawr bob blwyddyn, trwy'r pererindodau a wneir at feddrod Ezeciel. Hyn a barhâ ym mysg yr Iuddewon, yn gystal a'r Persiaid, a lliaws o bererinion a ddeuant yn flynyddol i Bagdad, ac a arhosant yno. Pa fodd bynnag, hwy a gasheir i'r graddau mwyaf; a rhai sectau, o wŷr euwoccaf ym mhlith y Mussulmiaid ni chynhaliant un gyweithas â hwynt.

Yn Armenia fe ddywedir iddynt fyw yn fwy heddychol; er bod eu hysgrifenwyr eu hunain yn adrodd i ni, wedi i rai ym Masea eu cyhuddo o ladd Cristion; am ddarfod ei weled yn myned i dŷ Iuddew, ac heb ddychwelyd allan drachefn; gwnaethpwyd hyspysiad o hyn yn uniongyrch i'w herbyn, ac wedi cyffessu y llofruddiaeth gan y rhai cyhuddol, croeshoeliwyd amryw o honynt, a llosgwyd y lleill, heb arbed hyd yn oed Abob, physygwr rhagorol, yr hwn a fwriasant i'r tân. Tridiau ar ol y dihenyddiau hyn, ymddangosodd y Cristion, a'r cyhuddiad o'i farwolaeth a gafwyd wedi ei osod allan ar gam o gasineb at yr Iuddewon, a gwneud y cyfaddefiad o anfodd gan dostrwydd yr arteithiau. Wedi gwneud achwyniaeth o hyn wrth Solyman II. gwaharddwyd i'r swyddogion Armeniaidd o hynny allan dderbyn hysbysiad o'r fath gam-weithredoedd, gan orchymmyn eu dwyn o flaen y Syltan, neu ymerodr y Tyrciaid. Yr hanes yma, os yw wir, yr hon a

gymmerir o awdwr anadnabyddus oedd yn byw yn yr Aipht, ac a deitlir, Dioddefiadau'r Iuddewon, a ddengys yn amlwg eu bod yn byw mewn llonyddwch ym mysg yr Armeniaid; yr hyn oedd yn hytrach i'w gyfrif i amddiffyniad llywodraeth Twrci, nag i ddim cydymfforfiad rhyngddynt hwy â'r trigolion. Rhai o honynt hefyd a geir ym Media, i ba le y dygasid hwynt yn amser y caethiwed, a'r lle y maent etto yn parhau, er diflanu o honynt yn fawr.

Dyma sefyllfaoedd yr Iuddewon yn y rhan yma o'r dwyrain; trwy'r hyn yr ymddengys, fod y llwythau a wasgarwyd yno yn aros etto yn Persia, Armenia, a Media, lle y mae eu synagogau ganddynt, a hwythau yn lliosog, gan eu bod yn preswylio yn yr holl ddinasoedd masnachol o Bassora a'r India i Mingrelia. Ond y mae'r llwythau wedi eu cymmysgu yn ormodol i allu mwyach eu gwahaniaethu: y maent yn anwybodus, yn dlawd, ac yn druenus: ac yn cael eu darostwng i swyddau gwael i ynnill eu bara. Yn fyr, y mae cyn lleied cyweithasrwydd rhyngddynt â'u brodyr yn y gorllewin, fel prin y gwyddant ddim am danynt. Y'nghylch yr amser hwn yr ymddangosodd twyllwr hynod, a enwid Zabathai Tzevi, yr hwn wedi arfer amryw gyfrwysdra neillduol, mewn trefn i hudo'r cyffredin, o'r diwedd a ddaliwyd yn ei amcanion anwireddus, ac a dderbyniodd y gosp a gyfiawn haeddodd ei gamweddau.

Dinas Sapheta, neu, fel y geilw'r Iuddewon hi yn gyffredin Saphet, yn Galilea, yw'r un fwyaf poblogaidd a nodedig sydd gan yr Iuddewon yn y dalaeth hon. Y maent yn mwynhau yno amryw ragorfreintiau. Ei sefyllfa sydd naw milldir oddiwrth Bethsaida, ar fynydd â thri o bennau iddo, yn anhawdd ei esgyn; ac am hynny y mae'n gysgod rhag ymgyrch yr Arabiaid, y rhai a anrheithiant ac a anghyfanneddant y dinasoedd a allent ddyfod iddynt. Y mae hefyd yn sicr eu bod yn fwy lliosog, ac yn cael triniaeth dynerach yn Sapheta, nac yn holl ran arall yr ymerodraeth Otomanaidd. Y mae ganddynt Athrofa ynddi ag sydd wedi tyfu yn dra enwog; ac er, tros rai blynyddau, i'r Iuddewon dwyreiniol esgeuluso yn fawr astudiad y celfyddydau, etto y maent o hyd yn cynnal i fynu broffeswyr a dysgawdwyr yno, o wŷr clodfawr. Yno y maent yn danfon eu meibion i'w dysgu; gan farnu fod yr iaith Hebraeg yn cael ei haddysgu yma yn ei phurdeb; megis pe byddai'r iaith honno yn gysgylltedig â'r Tir Sanctaidd; a bod y doctoriaid sydd yn ei dysgu, yn fynych yn ddieithriaid, yn ei llefaru yn well na rabbiniaid eraill. Ond y rhagfarn gyffredin yw, i athrofa Sapheta fod er's rhai oesoedd, yr hyn a fu yr un honno yn Tiberias, pa un a ddilynodd, o'r blaen. Y dadleuwr enwoccaf a ymddangosodd wedi Simon Jochaides, a ddysgodd yn yr ysgoldŷ hwn. Ganesid ef yn Corduba, yr hwn a roddodd iddo'r enw o Moses Cordoverus. Ond gan adael yr Yspaen tu a diwedd y drydedd ganrhif ar ddeg, efe a ddaeth yn un o golofnau yr athrofa hon; ac, ysgatfydd yn un o'i sylfaenwyr cyntaf.

Moses Alscheb oedd a'i enedigaeth o'r ddinas hon, ac a hynododd ei hun yn yr eilfed ganrhif ar bymtheg, nid yn unig o ran cywreinrwydd ei bregethau, ond yr esponiadau a gyfansoddodd ar ran o'r pentateuc. Holl deitlau ei ysgrifeniadau ydynt gyffelybiaethol: un a elwir Llygad Moses; y llall, Rhosyn Saron; y trydydd, Lili'r Dyffrynoedd. Efe a ganmolir yn fawr am ymgais, yn ei holl amlygiadau o'r ysgrythyr, i ddwyn i'r goleu ryw beth newydd; a chan ogwyddo yn fwy at yr hen esponwyr, na'r rhai diweddar, efe yn gymmwys a adroddodd eu meddyliau, hyd yn oed pan fyddent yn ffafru'r Cristionogion, gyd â'r rhai y preswylient. At hwn y gellir chwanegu, 1. Moses de Nagiara, yr hwn hefyd oedd yn Galilead, er dywedyd o rai ei ddyfod o Portugal. Yntau a addysgodd yn Sapheta, ac a adawodd esponiad ar lyfrau Moses, pa un a werthfawrogir gan yr Iuddewon. Yr ydoedd argraphwasg gan yr Iuddewon yno, â pha un yr argraphasant lyfr eu defodau, yr hwn a gyfansoddodd Moses Galant, penaeth eu hathrofa, yn 1560. Yn 2. Judas Jona, yr hwn, ar ol ei dröedigaeth, a ddaeth yn athraw i'r dysgedig Bartolocci, a anwyd yn Sapheta, a chymmerodd ei radd o ddysgawdwr neu rabbi, yn yr athrofa hon. Wedi gorphen ei orchwyl o astudio, efe a ddaeth i'r Gorllewin: ac yn Amsterdam dangosodd ei farn y'mherthynas i ewyllys, ar gadernid pa un yr oedd pethau mawrion yn ymddibynnu. A'r ddedryd a roddodd efe a gymmeradwywyd gan y rabbiniaid o'r

Almaen a Thessalonica. Yr Iuddewon ynHamburgh yn ol hynny a'i cymmerasant yn farnwr iddynt; ond efe a aeth oddi yno i Poland, ym mha le y trodd yn Gristion. Efe yn ol hynny a sefydlodd yn Rhufain, ac a ddysgodd Hebraeg i Bartolocci; yr hwn megis disgybl diolchgar, a'i hamddiffynodd yn ol hynny oddiwrth y cyfeiliornadau a gyfrifid iddo. Yr ydoedd côf mor gryf ganddo, pe buasai'r Talmud yn myned y'nghol!, gallasai efe ei adferyd.

Yn Jerusalem y mae llai o Iuddewon na Sapheta. Ni chyfrifant ond o amgylch cant o deulûoedd, y rhai a breswyliant yn fwyaf ar fynydd Sïon. Rhai o honynt sydd â swyddi yn yr ardrethdŷ; eraill yn ysgrifenwyr i'r llywodraethwr: ond y rhan fwyaf a wneir i fynu o bobl dlodion, ag sydd yn byw ar gardodau. Ar ddechreu yr unfed ganrhif ar bymtheg, pan gymmerodd Selim Jerusalem, yr ydoedd rabbi godidog, yr hwn a gyfansoddodd lyfr a enwid "Llygad Israel." Y gwaith hwn sydd gasgliad o agoriadau'r gyfraith a gynhwysir yn y Talmud. Amryw ddysgawdwyr a gyfansoddasai o'r blaen yr hyn a berthynent i'r gofyniadau; ond Rabbi Jacob a gasglodd y'nghyd ddeongliadau'r gyfraith oedd yn wasgaredig yn y llyfr mawr hwn. Ni allodd orphen ei amcan, ond Lefi ei fab, yr hwn o'r hyn lleiaf oedd mor ddysgedig â'i dad, a ddododd y llaw olaf wrtho. Y gwaith hwn a barodd derfysg ym mhlith dysgedigion Sapheta. Fel yr oeddynt hwy yn ddysgawdwyr myfyriol, diystyrent yr athrawiaethau hyn. Cawsant yn ngwaith Jacob a Lefi, doctoriaid yn Jerusalem, bethau oedd yn eu hanfoddloni hwynt. Yr amrafael ydoedd danbaid, a'r ymraniad yn fawr, cyhyd ag y parhaodd bywyd Lefi; ond eiddigedd proffeswyr Sapheta a fu farw gyd âg ef. Ei goffadwriaeth a anrhydeddwyd, a'i waith, yr hwn a arbedai ddarllen llawer o lyfrau mawrion, a dderbyniwyd gyd â chlod mawr. Leo de Modena, a ymdrechodd yn y ganrhif ddiweddaf ei berffeithio, trwy gysylltu atto farnau amryw ddoctoriaid ag oedd yn eisiau. Chwanegodd ddangoseg o'r pennau cyffredinol, fel y gellid eu cael yn haws. Rhoddodd atto 'chwanegiadau y titl o Dŷ Judah, a'r un hynny o Dŷ Bara Judah i daflen ei ddangoseg.

Yn Ethiopia, ni chyfarfu'r Iuddewon ond âg ychydig o wrthwynebiad. Y maent yn cyttuno yn fwy hawdd â Christionogion y wlad hon na'r rhai o un wlad arall, o herwydd fod y rhai hyn yn cyd-ffurfio â llawer o'u defodau. Ni fwyttânt ddim cig moch; ac y maent yn manwl gadwr'r sabboth. Hyd yn oed eu breuhinoedd a ddychymygant eu hunain megis â'u disgynfa oddiwrth yr Iuddewon gynt; ag sydd a chanddynt lun llew ar eu harwydd-lennau, yn cynnal i fynu groes, gyd â'r geiriau hyn, "Y llew o Judah a orchfygodd." Ar y llaw arall, yr Iuddewon yn y wlad hon ydynt heb dderbyn y Talmud, na'r holl bentwr o draddodiadau, sydd yn cymhylu eu crefydd mewn mannau eraill. Wedi i'r Saraceniaid orchfygu Ethiopia, yr Iuddewon, gan ofni eu herledigaeth, a giliasant ac a gymmerasant noddfa yn Abyssinia. Hwy a driniwyd â mwy o ddynoliaeth na phreswylwyr y wlad, gan fod awdwr Arabaidd yn sicrhau, mai pan benderfynwyd i wneuthur lladdfa gyffredinol ar y trigolion, hwy a erfyniasant, megis o haelioni'r brenin, gael o honynt y cyffelyb driniaeth a Phobl yr Ysgrythyr. Y bobl ysgrythyrol yma, yn ol iaith yr Arabiaid, yw'r Iuddewon. Yr enw yma a roddir iddynt yn yr Alcoran; canys Mahomet, yn llefaru am danynt, a'u geilw yn bobl y Llyfr, o herwydd llyfr y gyfraith a'r prophwydi. Yr Ethiopiaid gan hynny a ddymunasant yr un dynghedfen a'r Iuddewon; a brenin yr Arabiaid a ganiattaodd eu dymuniad, ar yr ammod o fod iddynt dderbyn nod ar eu hwynebau, wrth yr hwn yr adwaenid ac y gwahaniaethid hwynt.

Pa gyhyd o amser y bu'r Iuddewon yn sefydledig yn Ethiopia sydd anadnabyddus: ond os gellir credu teithydd diweddar yr hwn a fu yn y parthau hyn, nid oedd dim o honynt i'w canfod, oddigerth ar fynydd uchel ac ëang, anagoshaol ar bob ochr ond un, a hwnnw yn arw ac yn-greiglyd yn anhawdd a pheryglus i'w ddringo. Dyma oedd y fan a ddywed ein hanesydd eu bod wedi sefydlu ynddo. Pen y mynydd hwn ydoedd wastadedd maith a hyfryd, yn llawn ffrydiau dyfroedd, a ffrwythau peraidd ar goedydd, y'nghyd a phorfëydd rhagorol, lle y maent yn byw mewn llawnder o bob peth, heb ddyfod i wared un amser, na chynnal dim cyweithasrwydd â phreswylwyr Abyssinia. Yma y bu ddarfod i Claude, mab Dafydd,

wedi ei erlid gan ei frawd Goranha, brenin Adel, gymmeryd noddfa, ac a dderbyniwyd â breichiau agored gan yr Iuddewon; amddiffynasant ef hefyd yn wrol ac yn ffyddlon yn erbyn lluoedd y diweddaf, fel y gwnaethant iddynt gilio ymaith; am ba weithred o wrolder hwy a fwynhasant ei garedigrwydd a'i amddiffyn tros ei holl deyrnasiad, wedi iddo esgyn i'r orsedd.

Yr Iuddewon a ymgryfhasant yn fawr trwy y rhyddid a fwynhasant yn yr Aipht. Eu crefftwyr a ymdaenasant tros y wlad, a thrwy'r dinasoedd; ond y rhai cyfoethoccaf a mwyaf o honynt a drigasant yn Cairo. Yn fyr, hwy a honnent eu bod yn lliosoccach yn awr yn y wlad hon, na phan arweiniwyd hwy allan gan Moses: ond y nifer yma yn ddiweddar a leihawyd: canys teithwyr a gadarnhant, nad oes un sefydliad ganddynt oddigerth yn Cairo, ac yn nhrefydd arforawl yr Aipht; a'u bod mor bell oddiwrth breswylio mewn lleoedd eraill, fel os bydd eu hachosion yn eu rhwymo ar brydiau i fyned yno, y maent yn gorfod dirgelu a chuddio eu hunain, o herwydd fod pobl y wlad yn eu hanmherchi cyn gynted ag yr adnabyddir hwynt.

Yn nhiriogaethau ymerawdwr y Tyrciaid, yr Iuddewon er's amryw oesoedd a gadwasant eu rhyddid, hyd yn oed yn Constantinopl ei hun. Eu masnach mwyaf sydd mewn gwin; a chant y blaenoriaeth yn y farchnad hon, o herwydd fod cyfraith Moses yn gwahardd cymmysgedd; tybir gan hynny na feiddia'r Iuddewon ei gymmysgu, a'u bod yn ganlynol yn ei werthu yn ei burdeb. Yma, megis ym mhob lle arall, y maent yn dra thueddol i ynnill ac ocraeth. Er hyn oll fe ddigwydd yn fynych fod tlodi yn gwneud iddynt droi yn Fussulmiaid neu Fahometaniaid. Nid ydynt wedi enwaedu arnynt, o herwydd eu bod eisoes yn gwisgo arwydd y cyfammod hwnnw; ac ni fedyddir hwynt i'w gwneuthur yn Gristionogion: wedi ymofyn am ddiben eu hymnewidiad, gwneir iddynt lefaru y geiriau cyssegredig hyn, y rhai nid oedd gyfreithlon eu llefaru, tan boen o gael eu llosgi, heb ddyfod yn Fussulmiaid: "La Illah Illalah Mehemet Resoul Allah; Nid oes ond un Duw, a Mahomet ei brophwyd."

Ymmhen ennyd o amser, cafodd yr Iuddewon ryddid i gael argraphwasg yn Constantinopl. Yr ydoedd yn ddrych newydd i Fahometaniaid i weled llyfrau yn cael hargraphu, a hwy a gythruddwyd o'i herwydd. Y Muffti neu'r archoffeiriad a ofnodd rhag argraphu yr Alcoran: a rhag i hoffder at y celfyddydau, y rhai a ddeuent yn haws i'w deall, fyned rhagddo oddiwrth yr Iuddewon at yr Arabiaid. Hyn ydoedd yn fanteisiol iawn i'r holl genedl; canys copïau o'r gyfraith, y rhai oeddynt wedi tyfu yn dra phrin yn y dwyrain, a wasgarwyd yn gyffredinol; a phobl a ymroisant eu hunain gyd â mwy o ddiwydrwydd i astudio'r gyfraith, o herwydd ei bod yn haws i'w darllen, a'r cynnorthwyon i'w deall yn fwy. Amryw wŷr dysgedig, a phennau synagog, a gyfodwyd trwy'r moddion hyn. Solomon Japhe, yr hwn a adawsai ei wlad enedigol yr Almaen, a ddaeth yno yn fuan ar ol hynny. Efe a eglurodd y Talmud o Jerusalem, ac a'i gwnaeth yn gyflawnach, trwy chwanegu rhai esponiadau angenrheidiol arno. Efe a gyhoeddodd ddau waith arall, y rhai a alwodd Teg yn y Golygon, a Theg yn yr Edrychiad. Un a gynhwysai bregethau, a'r llall yn eglurhad Middrush Rabbah ar y Pentateuc. At ba rai y gallwn 'chwanegu Gedaliah a Mardochai.

Yn rhai o ddinasoedd Groeg, y mae iddynt etto sefydliadau cedyrn. Y mae ganddynt bedair o synagogau yn Patras, a'u barnwyr eu hunain yno, y rhai a ddewisant o'u mysg eu hunain. Y mae ganddynt hefyd eu claddfa neillduedig ar fynydd cymmydogaethol, pa un a edrych fel dinas fawr, oblegid ei fod yn cynnwys amryw dai bychain o feini, ym mha rai y cleddir pob teulu; a maen mynor, ar ba un yr argraphir enw'r teulu i'r hwn y perthyn, a wasanaetha yn lle drws. Ond fel nad oes ond ychydig o drigolion yn y ddinas hon, yr Iuddewon, y rhai nid ydynt uwchlaw y bedwaredd ran, a wnant yn unig y'nghylch mil o bersonau. Maent yn sefydlog yn Lepanta, Livadia, a Chorinth, a dinasoedd eraill, lle y maent yn byw wrth farsiandiaeth. Ond gwlad Groeg a ddiboblogwyd gymmaint trwy'r cyfnewidiau a aeth tanynt, trwy'r deyrnged a osodwyd arni, ac etto y'mhellach trwy orthrymder swyddogion ymerawdwr y Tyrciaid, fel y mae eu hamgylchiad wedi dyfod yn dra thruenus ar y cyfrifon hyn.

Yn Thessalonica yr ydym yn eu cael wedi sefydlu er amser St. Paul, a'r lle y bu ganddynt athrofa gyfrifol tros rai cannoedd o flynyddau, yn gystal ag argraphdŷ, yr hwn o'r diwedd a gymmerwyd oddi wrthynt. Yma'r anfonai'r Iuddewon eu plant o Constantinopl i ddysgu'r iaith Hebraeg, ac yma y blodeuodd amryw rabbiniaid enwog.

Pan gymmerwyd Rhodes gan y Tyrciaid yr Iuddewon a sefydlasant yno drachefn, ac a driniwyd yn fwy ffafriol na'r Cristionogion: canys y rhai diweddaf, ag sydd â'u ystordai a'u sioppau yn y ddinas, ni chaniattëir iddynt lettŷa ynddi; pan nad yw'r Iuddewon yn gorfod gadael eu tai i ymofyn am welŷau yn y pentrefi cymmydogaethol. Eithr nid ydynt yn cyfrif ond dau gant o honynt yno am dri chant ar ddeg o Dyrciaid. Yn Smyrna y maent yn fwy lliosog; lle y cyfrifant wyth mil o'u cenedl, a chanddynt amryw synagogau. Yn fyr, nid oes ond ychydig ddinasoedd, neu drefydd mawrion yn ymerodraeth y Twrc, heb rai Iuddewon ynddynt. Maent yn dioddef oddi wrth gybydd-dra swyddogion y Syltan; ond y camwedd hwn sydd gyffredin iddynt hwy â'i ddeiliaid eraill.

Yr historiawyr Iuddewig a achwynant fod iddynt elyniaeth chwerw yn y Pab Ioan XXIII. yr hwn a gyfrifant yn gymhwysach i fod yn bennaeth ar fyddin, nag yn ben yr eglwys. Efe a osododd allan amryw gyhoeddiadau i'w cymmell i droi yn Gristionogion; a hyn gyd â'r fath lymdra, ag y gorfu i un mil ar bymtheg ymwrthod â'u crefydd: rhan o'r rhai a barhaodd i' lynu wrthi a ddifethwyd trwy dân, ac eraill trwy wahanol gospedigaethau a osodwyd arnynt. Ond nid yw hyn i'w gyfrif i'r Pab yn unig: efe a gynnorthwyid yn yr achos gan frenhines 'Spaen, yr hon a lywodraethodd yno pan oedd Ioan II. tan oedran.

Y Pab Nicholas II. mewn rhyw fesur a wnaeth iawn i'r Iuddewon am y creulonderau a ddioddefasant o'r blaen, trwy ganiattau ei amddiffyniad iddynt. Fe gyfyngodd ar awdurdod gwŷr y chwil-lys, y rhai oedd yn parhau i'w poeni yn afresymmol; ac a ysgrifenodd hefyd i 'Spaen, i'w rhybuddio yno i ochelyd gwasgu ar eu cydwybodau: a chaniattaodd i ddychweledigion ewyllysgar at Gristionogrwydd y rhagorfraint o fyned i mewn i swyddau, y rhai a gymmerasai trigolion Toledo oddi wrthynt. Ond ni chawsant hir fwynhau ffrwyth amddiffyniad y pen-eglwyswr hwn, cyn i dymmestl newydd gyfodi o le arall. Hwy a alltudiwyd o ddinas Trent, lle'r oedd y swyddogion yn llai eu gweddoldeb tu ag attynt: eithr cawsant ryddid i aros tri diwrnod, oblegid ehangder eu masnach. Dywedir i ni, ar ol hynny, i'r tridiau o ryddid gael ei gyfyngu i dair awr, fel cosp am eu hamddiffyniad cyndyn o Buda yn erbyn y Cristionogion, yn y rhyfel diweddaf â'r Tyrciaid. Pa fodd bynnag, Alexander VI. a wnaeth dderbyniad croesawus o honynt.

Wedi eu danfon allan o 'Spaen gan Ferdinand y Catholic, a myned yn grwydraidd, y rhai oll o honynt a ddaethant i Rufain a gawsant ddrwg-driniaeth gan eu brodyr creulon, y rhai a adawsent iddynt farw o newyn, pe na chynnorthwyasai Alexander hwynt. Mewn effaith, y Pab hwnnw, er ei fod yn Yspaeniad o enedigaeth, ac yn ben yr eglwys, wedi deall ddarfod i'r Iuddewon, y rhai a sefydlasent er's hir amser yn Rhufain adael yr alltudiaid mewn cyfyngder, heb ymdrechu i'w diwallu hwynt; efe a fygythiodd eu gyrru hwynt ymaith, os na newidient eu hymddygiad, a chaniattau cyfleustra i'w brodyr trallodedig i sefydlu eu hunain yn y llywodraeth eglwysaidd. Efe a dybiodd yn gymmwys i elwa oddiwrth gyfeiliornad Ferdinand, a helaethu ei deyrnged ar draul eraill.

Y dysgedig R. Jochanan oedd ym mhlith y rhai dieithrol a wahoddwyd gan diriondeb y pen-eglwyswr uchod i Rufain. Ellmyniad oedd efe, wedi dyfod o Constantinopl, ac a gymmerwyd i wasanaeth Picus, iarll Mirandola, fel ei hyfforddydd. Y tywysog hwn, er's amryw flynyddau, oedd yn hoffi ysgrifeniadau y rabbiniaid. Adroddir iddo ddywedyd fod y rhai a ddarllenai lyfrau Hebraeg yn tynnu dwfr o lygad y ffynnon, fod y ffrydiau yn tarddu oddiyno i'r Groegiaid, ac nad oedd ond corsydd a dwfr merllyd i'w gael ym mysg y Lladinwyr.

Naples ydoedd le arall a olygwyd yn gymmwys o noddfa i'r ffoaduriaid o 'Spaen a Portugal; ond y chwilwyr a'u herlidiasant gyd â'r fath chwerwder a gorthrymder ofnadwy, tan

esgus fod y bobl yn myned i wrthryfela. Y rhaglaw a benderfynodd yrru'r Iuddewon ymaith, fel y gallai ar unwaith â hwynt gael ymadawiad â'r chwilwyr. Dywedodd fod ffyddlondeb yr hen drigolion mor bur ac adnabyddus, fel nad oedd achos am y meddygon creulon hyn, y rhai oedd yn gwneuthur archollion, ac yn eu cadw yn agor yn lle eu can. Ei weithred hon a gadarnhawyd yn ol hyny gan Charles V. yr hwn ni oddefai'r Iuddewon yn ei deyrnas, nac yn Sicily. Y gwir yw, y tywysog hwn a'u casaodd hwynt; a'r twyll a ddatguddiasid iddo yn eu plith hwynt, a ymddangosodd yn ei gyfiawnhau i hyny. Y casineb hwn, pa fodd bynnag, ni ddigalonodd un Ricci, Iuddew dychweledig, rhag anrhegu i'r brenin hwnnw ei draethawd a elwid, Llafurwriaeth Nefolaidd. Physygwr ydoedd efe yn yr Almaen, ac a draddododd ddeg a deugain o reolau profedig, ac esponiadau ar rai pyngciau mewn difinyddiaeth: eithr fe genfydd y rhai a'u darllenant na haeddant y canmoliaeth a roddodd rhai dysgedigion iddynt; ond yn y gwrthwyneb eu bod ym mhell islaw gwaith difeinydd iachus a rhesymmol.

Tan esgobaethiad Paul III. yr Iuddewon a ymgadarnhasant mor fawr ag i gyffroi digter y prif-offeiriad Sadolet. Yr oedd efe yn esgob Carpentras, yn esgobaeth Avignon, lle y cawsai'r Iuddewon bob amser oddefiad er pan ddarfuasai i Joan, brenhines Sicily, wneuthur anrheg o'r ddinas hon i'r Pab. Yr oedd ganddynt eu synagogau yno, fel y mae ganddynt y dydd hwn, er bod y ddinas y'nghanol Ffraingc, o ba le yr alltudasid hwynt. Y prelad, heb allu dioddef hyn, a ysgrifenodd at y cardinal, neu'r prif-offeiriad Farnese, i ddangos, na fuasai'r Pab erioed yn gymmaint cymmwynaswr i'r Cristionogion ag ydoedd i'r Iuddewon: ddarfod iddo gyfrannu teitlau iddynt, rhagorfreintiau newyddion ac anrhydedd, yr hyn a'u balchiodd ac a'u gwnaeth yn drahaus; yn gymmaint ag nad oedd y Cristionogion ond megis defaid y'nghanol bleiddiaid; eu bod yn cael eu gyrru o'u tai, ac hyd yn oed o'r dinasoedd yn gyffredin lle y dylent gael byw mewn llonyddwch. Ei fod yn beth annirnadwy pa fodd y gallai Pab gyd â'r fath lymdra erlid y Lutheriaid, a chaniattau ar yr un pryd y fath amddiffyn pleidiol, a'r fath ffafrion neillduol i'r Iuddewon, y rhai a ymddangosent yn fwy haeddianol o'i anfoddlonrwydd. Fe sylwiodd ar yr iawn achos o'r amddiffyniad hwn, ei fod yn dyfod trwy drysorwyr y Pab, a'r gwylwyr ar ei deyrnged, i ba rai yr oedd yr Iuddewon yn wŷr angenrheidiol. Pa fodd bynnag, peth sylw a wnaethpwyd o ddarluniadau y prif-offeiriad; ac ar yr achos hwn hwy a wnaethant yr hyn a wneir yn gyffredin yn Rhufain; wedi datguddio rhyw gamwedd perthynol i elw, y maent yn ei gelu, ac yn lleihau ei atgasrwydd yn rhy amlwg. Ym mhen ennyd o amser ar ol hyn, Julius III. wedi ei berswadio fod deongliad cysgodawl y Gemara yn beryglus, a barodd i'r Talmud gael ei losgi: felly holl lyfrau y Gemara, ag oedd yn Itali a ddifethwyd, yn hanes yr ysgrifenwyr Iuddewig.

Yn amser y Pab hwn, Joseph Tzarphati, rabbi enwog, yr hwn a ddysgasai tros hir amser yn Rhufain, a ymunodd â Christionogrwydd. Efe a anesid yn Ffraingc; ond a giliodd ymaith i Itali, ym mha le yr eglurodd y Talmud yn y synagogau a'r athrofa yn Rhufain; ac i ddangos mwy o anrhydedd i'r Pab Julius, fe gymmerodd yr enw Monte. Yr ydoedd y'mhellach ar yr amser hwn Iuddewon enwog eraill yn Rhufain. Elias y Lefiad a anwyd yn Padua; ond wedi colli'r cwbl pan gymmerwyd y ddinas, fe'i derbyniwyd gan y prif-offeiriaid, i ba rai y dysgodd Hebraeg. Gan ei fod yn ddyn aflwyddiannus, efe unwaith yn rhagor a golledwyd, pan ddarfu i'r ceidwad de Bourbon anrheithio Rhufain. Efe a aeth ymaith i Venice, ac oddi yno i'r Almaen: ond heb fod yn arferol ag awyr oer y y wlad hon, fe ddychwelodd i'r Ital, lle y bu farw yn bedwar ugain mlwydd o oedran. Fe'i dychymygwyd yn un â thueddiad mawr at Gristionogrwydd; a'r dychymmyg hwn oedd sail ddigonol i'w gasbau gan ei gyd-genedl: ond ni thynghedodd ffydd ei henafiaid, er i rai gredu a chadarnhau hynny. Yr ydoedd gwraig yn Rhufain, a elwid Deborah, yr hon y pryd hynny a hynododd ei hun trwy ei phrydyddiaeth, a rhai pethau eraill.

Pobl yr Iuddewon a gyfarfuant â gelyn ac erlidiwr chwerw yn Paul IV. yr hwn, yn y flwyddyn gyntaf o'i offeiriadaeth, a osododd allan ddau orchymmyn, ar y rhai yr achwynai'r ysgrifenwyr Iuddewig yn dra thanbaid. Trwy'r

cyntaf fe orchymmynodd i bob synagog o fewn ei diriogaethau i dalu deg ducat yn flynyddol er hyfforddiad egwyddorol y rhai a dynghedent y grefydd Iuddewig: a thrwy'r ail, yr hwn oedd dostach, parodd i'r gwŷr wisgo cappan neu het o liw melyn, a'r gwragedd orchudd o'r un lliw. Gwnaeth iddynt oll drigo yn yr un cwrr o'r ddinas, a phyrth y lle i gael eu cau gyd â'r nos. Hwy a ddifuddiwyd o bob cymdeithas, swyddau, a graddau ym mhlith y Cristionogion, heb esgusodi physigwriaeth na marsiandiaeth; canys eu masnach a gyfyngwyd i bethau bychain; a gwaharddwyd iddynt gael mwy nag un synagog yn yr un ddinas. Gorchymmynwyd iddynt werthu eu holl diroedd o fewn chwe mis, amgylchiad yr hwn a ostyngodd eu pris, fel na's gallentgael y bummed ran o'u gwerth am danynt.

Y cardinal Charles de Boromes, esgob Milan, nid yn unig a osododd allan amryw ganonau, yn y cyngor cyntaf a gynhaliodd yn y brifddinas honno, tra chyffelyb i'r rhai o eiddo Paul IV. a rag-grybwyllwyd; ond a ddymunodd i'r holl dywysogion Cristionogol i wneud yr un peth; a hyn i gyd i ddwyn o amgylch, hyd ag oedd bossibl, eu troedigaeth. Y Pab Pius V. ydoedd etto yn fwy llym tu ag at yr Iuddewon, a'r Gosodedigaethau a gyhoeddodd i'w herbyn, ydoedd ddigon i beri eu ffieiddio gan yr holl fyd. Canys efe a'u cyhuddodd o gasineb at y Cristionogion, o ddifetha y wladwriaeth eglwysig trwy'r ocraeth ag oeddynt yn ei dynnu oddi wrthi; o gysgodi yspeiliau, a thrwy hynny meithrin lledrad; ynghyd â lliaws o ddrygau eraill. Fe'u cyhuddwyd hefyd o ymdrin â dewiniaeth, a rhagddywedyd pethau i ddyfod; ac, am yr holl resymmau hyn, fe'u bwriodd allan o ddinasoedd y wladwriaeth eglwysig, oddigerth Rhufain ac Ancona. Ond Sextus V. a weithredodd yn fwy rhydd tu ag attynt; gan gyfaddef yn ddiduedd mai'r fantais ag oedd yn ei fedi oddiwrthynt a barodd iddo eu goddef. Ni chafodd yr Iuddewon ond ychydig ffafr oddiwrth y Pab Clement VIII. Canys efe a adnewyddodd orchymmyn Pius V. yr hwn a'u halltudiodd o'r wladwriaeth eglwysig. Dau beth sydd i'w sylwi yn y gorchymmyn hwn: yn un, ddarfod iddo chwanegu Avignon at Ancona a Rhufain, lle'r oeddynt fyth yn cynnal eu rhyddid cydwybod: y llall, mai'r Pab hwn oedd sylfaenwr y rhagorfraint o oddefiad iddynt yn Rhufain ar yr achos hwn; sef, na ddylid symmud yr Iuddewon ym mhell o Rufain, fel y byddent bob amser wrth law i'w dychwelyd, *megis pe buasai mynychach ddychweliad yn Rhufain na lleoedd eraill.* Yn gyfattebol i'r egwyddor hon, dylasai ganiattau rhyddid cydwybod i bob hereticiaid yn Rhufain, a llenwi y ddinas â hwynt.

Heblaw sefydliadau eraill yn ninas Itali, yr un fwyaf hynod yn perthyn i'r genedl hon oedd Venice. Y werin-lywodraeth honno a'u derbyniodd oll i'w therfynau, ac a'u porthodd yn dra haelionus. Maent hefyd yn ymffrostio eu bod mewn rhan yn haeddu'r tiriondeb hwn oblegid eu ffyddlondeb, a'r gwasanaeth a wnaethent iddynt yn eu rhyfel â'r Tyrciaid, ac yn enwedig yn y cynllwyn ar Candia. Yma y bu ddarfod i Daniel Bombergue argraphu eu Bibl Hebraeg y waith gyntaf. Yr argraphydd hwn a ddaethai o Antwerp i Venice, yr hwn oedd a'i fasnach yn bennaf mewn llyfrau Hebraeg. Er mwyn eu hargraphu yn gywirach, fe gadwodd yr Iuddewon dysgediccaf ar gyflogiad, yn fwy na chant o rifedi. Felix Pratensis oedd â gofal un argraphiad o'r Bibl, gyd â'r eglurhad Caldeaidd, ac esponiadau amryw rabbiniaid, yr hwn a anrhegodd i'r Pab Leo X. ond nid hwn yw'r argraphiad goreu, o herwydd na allai yn rheolaidd gyfrannu amrywiol ddarlleniadau y Massorethiau. Bombergue ydoedd hefyd yn ewyllysio argraphu grammadeg Hebraeg, a R. Abraham a ordeiniasid i gyfansoddi un yn ganlynol: ond ag efe yn marw cyn ei orphen, fe'i cwblhawyd ar ol hynny gan R. Calonymas, Iuddew dysgedig yn Venice. Heblaw y llyfrau hyn, fe argraphodd nifer mawr o lyfrau o waith rabbiniaid Iuddewig eraill, am yr hyn ei goffadwriaeth sydd etto yn barchus gan y byd dysgedig, yn enwedig gan y rhai o'i genedl ei hun.

David mab Isaac de Pomis, a aeth i Venice; ac, mewn ffordd o gydnabyddiaeth, a ysgrifennodd draethawd i brofi fod cyfreithiau y werin-lywodraeth o ddwyfol ddechreuad. Y rabbi dysgedig hwn a haerodd, fod disgyniad ei deulu oddiwrth un o bennau'r caethion a ddygwyd gan Titus o Jerusalem i Rufain. Efe ydoedd ryfeddod dysgeidiaeth yn ei flynyddau tyneraf. Ei dad a drigodd yn Spoleto; ond wedi i'r Eil-

myn anrheithio Rhufain, efe a ofnodd rhag cael ei ddifetha trwy'r un ddamwain, ac, am hyuny, a gymmerodd ymaith ei holl eiddo, ac a aeth i chwilio am drigfa mewn lle arall. Ond fe syrthiodd i'r anhap a geisiodd ei ochelyd; canys lluoedd Colonna wrth gyfarfod clud ei eiddo a'u cymmerodd, ac a'i darostyngodd ef i'r tlodi mwyaf. Fe sefydlodd yn Bevagna, lle y darfu i'w fab, yr hwn a anwyd yn y flwyddyn 1525, yn fwriadol ymroddi ei hun i astudio. Ysgrifen-lyfr un o'i henafiaid, yr hwn oedd yn byw yn nechrau'r ddeuddegfed ganrif, a'r hwn y pryd hynny a gyfansoddasai eirlyfr Hebraeg, a syrthiodd yn ddamweiniol i'w ddwylaw. Efe nid yn unig a'i hastudiodd, ond a ymroddodd i wneud un arall o fwy maintioli, yn yr hwn y gosododd i mewn yr ymadroddion a arferir yn fynych gan y rabbiniaid, er nad ydynt yn Hebraeg. Rhoddodd i mewn yn ei waith yr hyn oll ydoedd o werth o'r eiddo Rabbin Nathan, ac Elias y Lefiad. Yr ydym yn cael y geiriau Hebraeg, a'r ymadroddion dieithr, gyd â'r Lladin ac iaith yr Ital,yn gynnwysedig yn y gwaith hwn.

Yn Venice hefyd yr ydoedd yn byw Samuel Nachmias, er ei fod ef o dylwyth Thessaloniaidd. Yma y tynghedodd Iuddewiaeth, gyd â David ei fab, a rhan o'i deulu, y rhai a gymmerasant yr enw Morosini. I ddangos fod ei droedigaeth ef yn wirioneddol, fe gyhoeddodd draethawd Italaidd, yr hwn a deitlodd, Via della Fede, neu Ffordd i'r Ffydd, yn yr hwn y mae'n egluro defodau ei genedl, ac yn dangos y deffnyddioldeb o honynt; y mae'n profi nad yw'r chwe'chant a thri ar ddeg o reolau, y rhai a wahaniaethir yn y ddeddf neu'r gyfraith, yn cael eu sylwi gan neb; ac yn gwrthwynebu'r traddodiadau a'r sectau Iuddewig. Bu farw yn y flwyddyn 1687 yn Rhufain, i ba le yr aethai i breswylio. Mardochai Corcos, yr hwn oedd yn hyfforddi yn y flwyddyn 1672, a gyflawnodd orchwyl nad oedd yn ddim llai o hyfdra na chas gan ddoctoriaid y genedl; canys efe a gyfansoddodd draethawd yn erbyn y cabbala, neu athrawiaeth dderbyniedig yr Iuddewon; a'u sel tros y drefn honno sydd mor fawr ag yr ymddengys fod sylfaen eu crefydd yn cael ei siglo pan wrthwyneber hi; ac, oblegid hynny, fe ragofalodd y doctoriaid i beidio a'i argraphu. Ar yr un amser ag yr oedd ei wasg gan Bombergue yn Venice, rhai Iuddewon o Spire, yn yr Allmaen, oedd ar waith yr un modd yn Soncino, tref fechan yn nnwgiaeth Milan, gerllaw yr afon Oglio, lle y dechreuasant argraphu llyfrau Hebraeg ynghylch diwedd y bymthegfed ganrif. Yr oedd hefyd rabbiniaid enwog a synagogau yn Imola, Modena, Padua, &c. a rhai o honynt yn rhagori mewn dysgeidiaeth.

Gregory y trydydd ar ddeg a wnaeth yr hyn a allai, trwy berswadiad a rheswm, i hyfforddi eu troedigaeth. Pregethwr doniol a neillduwyd i'r pwrpas yma, yr hwn oedd i brofi, fod dygiad yr efengyl i mewn yn cael ei fwriadu i ddileu y gyfraith Iuddewig, ac ymhelaethu ar barhad y lliaws o drallodion a ddilynodd y genedl hon, ar gyfrif eu gwrthodiad o'r Messia. Yr holl Iuddewon, yn eu tro, oeddynt rwymedig i wrando ei bregethau, a phlant uwchlaw deuddeng mlwydd o oedran a gyfrifid ym mhlith ei wrandawyr. Ysgoldai i dderbyn y dychweledigion ieuaingc a godwyd, ac yspyttai i'r rhai cleifion: ond wedi'r cwbl, rhifedi y troedigion oedd dra ychydig; a'r dallineb barnedigaethol, yr hwn oedd yn aros ar yr holl genedl, ni symmudid ymaith trwy amcanion da y Pen-eglwyswr: yr oedd yr amser heb ddyfod o amgylch i ddefaid colledig tŷ Israel gael eu dwyn i mewn i'r gorlan tan un bugail, Iesu Grist. Hyn sydd yn dwyn hanes yr Iuddewon yn Itali i ddiwedd yr eilfed ganrif ar bymtheg.

Llawer cylch-gyfnewidiad a ddilynodd y bobl annedwydd yma yn yr Allmaen neu Germani, yn oed y bymthegfed a'r unfed ganrif ar bymtheg. Y rhyddid a gawsant ar amserau a feddiannwyd ganddynt ar ammodau uchel, pan oedd trachwantau'r pennaethiaid yn eu hannog i fynnu teyrnged nid bychan ganddynt. Tan y diwygiad, yn enwedig ar ei ddechreuad, yr Iuddewon a brofasant lawer o lonyddwch; o herwydd fod gan y mynachod ddigon i'w wneuthur â'r rhai diwygiedig, heb gythryblu heddwch yr Israeliaid. Y llyfrau Iuddewig a arbedwyd, ac astudiad o'r ieithoedd a gynnyddodd. Er hynny, Luther ei-hun a feiodd arnynt am eu gorwylltedd, yr hyn ar brydiau a'i dygodd ef ei hun tu hwnt i bob terfynau. Yn ddychweliad am yr achwyniadau a wnaed arnynt, y dysgawdwyr Iuddewig yn gyhoeddus a wrthwynebasant y diwygiad.

Yr Iuddewon yn Hungari a ddiflanodd yn fawr tua diwedd yr unfed ganrhif ar bymtheg. Yr ymerawdwr Rodolphos a osododd dreth ddyblyg arnynt, yr hon, a hwynt-hwy yn analluog i'w thalu, a'u rhwymodd i ymadael yn gynt â'r wlad. Yr oedd ganddynt synagogau yn Moravia; ond hwy a ddioddefasant erledigaeth greulon yn 1574, trwy ddarfod i holl broffeswyr eu crefydd gael eu barnu i'w llosgi, ac amryw a ddifethwyd cyn i'w hachwynion gyrhaedd clustiau Maximilian, yr hwn oedd yn tosturio wrth eu sefyllfa druenus. Hwynt-hwy hefyd a ddioddefasant yn fawr yn Franconia, oddiwrth achwynion gwibiedig a disail, y rhai a weithredodd er niwed iddynt. Hwy ar ol hynny, mewn rhyw fesur, a wobrwywyd am eu dioddefiadau trwy dynerwch y duwc o Brynswic, yr hwn a ganiattaodd iddynt sefydlu yn ei arglwyddiaethau.

Yn Poland yr Iuddewon a gawsant bob amser eu ffafrio yn fwy nag mewn un wlad arall. Y mae ganddynt eu synagogau a'u hysgoldai; a'u llysoedd barn a gynnysgaeddir â neillduol awdurdod, pan y caniatteir iddynt benderfynu achosion gwladol yn gystal a chrefyddol. Dywedir i ni ddarfod iddynt hefyd gael meddiannu y rhagorfraint o fathu arian, o herwydd cael siclau yno âg argraph Hebreaidd arnynt. Y wlad hon a elygir fel mammaethdŷ rabbiniaid dysgedig, a'r wlad i ba un y denfyn yr Iuddewon eu hieuengctyd i astudio y Talmud a defodau eu crefydd. Wrth adrodd y'nghylch y ganrhif o'r blaen, nyni a grybwyllasom am rai rabbiniaid y rhai oeddynt yn anrhydedd i'w cenedl. Y deyrnas hon a gynhwysodd un dyn, yr hwn nid yn unig a ymwrthododd âg Iuddewiaeth, ond a ysgrifenodd ac a gyhoeddodd ddwy ar bymtheg ar hugain o dystiolaethau yn ei herbyn. Ei enw ydoedd Solomon. Efe a rwymasid yn lle un o'i frodyr, ac a fwriwyd i garchar; o ba le ni's gallai dim ei ryddhau ond ei dröedigaeth at Gristionogrwydd: felly yr amgylchiad hwn, y'nghyd a'i ddull chwyddedig o ysgrifenu, a roddodd achos i lawer ammeu ym mherthynas i'w wirionedd. Pa fodd bynnag yr oedd am hynny, yr ydoedd efe yn ddadleuwr rhagorol; yn gyfarwydd y'mhyngciau difinyddiaeth, ac yn amddiffynwr nerthol o'r grefydd Iuddewig.

Dinas Hamburg a elwir yn Jerusalem fechan. Delir sylw fod yr Iuddewon yn fwy trinadwy yn y ddinas honno nag yn un lle arall, canys rhifedi mawr o honynt a drowyd yn y ganrhif hon gan un Edzas, neu Esdras, yr hwn a'i gwnaeth yn orchwyl iddo i hyfforddi, a'u cadarnhau yn y ffydd Gristionogol. Difeinydd o'r ddinas honno a ddywedodd, pe dilynid yr hyfforddiadau hynny âg awdurdod lywodraethol y deuent yn fwy effeithiol: ond y senedd a ostegodd ei zel anghymmedrol, yr hon oedd yn unig yn tueddu i leihau nifer eu dinasyddion, ac a barasai eisoes radd o derfysg yn eu mysg hwynt.

Ferdinand y III. a ganiattaodd iddynt ragorfreintiau mawrion; o herwydd, pan warchäwyd ar ddinas Prague gan Carolus Gustavus, yr hwn yn ddiweddar a wnaethid yn flaenor ar fyddinoedd Sweden a'r Allmaen, hwy a amddiffynasant eu hunain gyd â gwrolder a ffyddlondeb mawr. Y ddinas hon a gymmerasid eisoes, a'r gwersyll a alwasid arnynt i ymostwng: ond y buddugoliaethwr wedi gwrthod ammodau anrhydeddus, hwy a wrthsafasant ei ymosodiadau gyd â gwrolder ansigledig. Yr Iuddewon a hynodasant eu hunain yn yr ymgyrch hwn, gan amddiffyn eu sefyllfa gyd âg ymroad oedd haeddiannol o wobr a rhagorfreintiau rhagorol.

Oddiwrth amryw amgylchiadau, fe ymddengys na allodd un math o ystyriaethau greu dealltwriaeth da rhwng Cristionogian Prague a'r Iuddewon. Yn y gwrthwyneb y maent y naill yn casâu'r llall; ac fel y rhaid cyfaddef, yr Iuddewon yn achlysurol a fuant yn euog o'r fath afreolaeth ag oedd yn peri eu drwg-dybio a'u ffieiddio gan y Cristionogion; felly mae'n rhaid caniattâu ddarfod i'r Cristionogion eu darostwng i gyd-ymffurfiad â rhai ymarferion ag oedd yn anghyttunol â'u proffes, ac yn ganlynol yn achos o'r cynnyrfiadau mwyaf peryglys. Er hynny y maent mor lliosog yn y wlad hon, ag i lenwi eu hunain y drydydd ran o ddinas Prague; ond y maent yn dlawd ac yn druenus; yn tyrru o amgylch dieithriaid, ac yn ymostwng i'r gwasanaeth gwaelaf i ynnill eu bywydau. Hwy a gawsent yn Hungari y rhagorfraint o farchnatta'r deyrnged, hyd oni ddarfu i Ferdinand II. trwy gyhoeddiad ei

gymmeryd oddi wrthynt, yr hyn er iddo ei wneuthur hwy a gawsant ffordd i gynual y fantais oddi wrtho, gan i Ferdinand III. ar ol hynny orfod eu hamddifadu o hono trwy orchymmyn newydd, yr hwn oedd yn condemnio y rhai hynny i golli eu lleoedd neu swyddau ag a dderbynient Iuddewon i mewn i rai o honynt; gan amlygu, fel achos o hono, "nad oedd ganddynt gydwybod na gonestrwydd, a'u bod, yn ganlynol, yn anheilwng o fwynhau rhagorfraintiau yn Hungari." Pa fodd bynnag y maent yn parhau yno etto, nid yn unig yn y parthau perthynol i bennaeth y Tyrciaid, ond y rhai hynny o'r ymerodraeth hefyd.

Yr Iuddewon oeddynt yn y fath gymmeradwyaeth yn Vienna, ynghylch deg mlynedd ar ol hynny, fel y cafodd Rabbi Zachari gennad i adeiladu synagog iddynt yno; a chwanegu ysgoldŷ atto, i adnewyddu astudiad y celfyddydau, y rhai a ymddangosent megis wedi diffoddi yn y wlad. Efe a sefydlodd daliad blynyddol i bedwar ar hugain o bersonau, y rhai oeddynt i ddarllen y Talmud bob awr, yn y dydd a'r nos. Y naill a ddeuai yn lle'r llall; felly'r oedd yr ysgoldŷ bob amser yn agored, ac nid oedd fyth i'w gael heb un o'r dysgawdwyr ynddo. Ond yr adeilad hon ydoedd yn brin wedi gorphen, pan y darfu i'r ymerawdwr yrru yr holl Iuddewon allan o'i brif-ddinas; a chymmerodd feddiant o'u synagog, ac a'i trodd yn eglwys. Achwynant, ddarfod i'r ymerodres goel-grefyddol, trwy ddychymygu fod y goddefiad a roddai'r llŷs i'r Iuddewon yn achos o'i diffrwythdra, annog yr ymerawdwr i'w halltudio: ond ar ol marw y dywysoges hon, hwy a adferwyd i Vienna.

Cafodd yr ymerawdwr achos newydd o anffyddlonrwydd i'w herbyn yn y rhyfel â'r Tyrciaid, o herwydd eu cynnorthwy i'r anghredinwyr yn eu hymosodiad ar Buda, a'u hymddangosiad o wrolder. Ond hyn mewn gwirionedd oedd weithred o ffyddlondeb ag ydoedd ddyledus arnynt i'w hymerawdr: ac er i'r gwrthwynebiad hwn eu gwneuthur yn atgas, nid yn unig gan yr Ellmyniaid ond yn yr Ital hefyd, lle y codasant i'w herbyn; etto ni allwn eu beio, gan eu bod y prydhynny yn ddeiliaid i bennaeth y Tyrciaid. Wedi'r cwbl, y mae'r ymerawdwr yn eu ffafru yn Vienna; gan eu derbyn i swyddau gwladol, a rhoddi teitlau anrhydeddus i'r rhai a dderbynid neu a bwrcasai y swyddau hynny. Y bobl, yn wir, trwy eiddigeddu wrth y cyfoeth a bentyrrasant, a ymdrechant rai gweithiau, trwy derfysg a chythrwfl, i'w diosg o hono, a'i ddwyn oddiarnynt.

Yn Serfia, Moldafia, Falachia, a dinasoedd cyfoethog yr Allmaen, yr Iuddewon ydynt flodeuog a lliosog. Gyrrasid hwy allan o Nuremberg; eithr hwy a ymdaenasant trwy drefydd y wlad, a chanddynt eu synagog yn Erfurt, yr hon oedd yn y gymmydogaeth. Yn ninas Ausburg, yr oedd ganddynt gynt synagog ac athrofa; eu dysgawdwyr a'u disgyblion a gynhelid gan farsiandwyr cyfoethog y lle. Ond hwy yn ol hynny a alltudiwyd o hono; a rhaid oedd iddynt bwrcasu rhyddid i ddyfod iddo am y pris o fflorin tros bob awr a arosant yn y lle.

Nid oes un llywodraeth yn Ewrop ym mha un y mae'r Iuddewon yn byw mewn mwy llonyddwch nag yn Holand. Y maent yn ymgyfoethogi trwy fasnach, a thrwy dynerwch y llywodraeth, yn cael mwynhau yr elw a gyrhaeddant yn ddiberygl. Y mae dau fath o Iuddewon yn Holand; rhai ydynt yn Ellmyniaid, ac eraill â'u tarddiad o Portugal a 'Spaen. Y maent wedi ymrannu ynghylch rhai defodau, ac yn casâu eu gilydd, fel pe byddai pethau hanfodol crefydd mewn gofal. Ond y gwir achos o'r casineb yma rhwng y ddau fath o Iuddewon hyn, os credwn yr Ellmyn, ydyw ffuantrwydd ac esgeulustra y rhai o Portugal a 'Spaen, y rhai sy'n byw yn y gwledydd hynny, a'u cyd-ymffuriad ym mhob peth â'r grefydd Babaidd, er mwyn cyfoethogi eu hunain, ac yna cilio i Holand, i fwynhau, gyd â mwy o ddiogelwch, ffrwyth eu rhagrith. I'r wlad hon y daeth yr Iuddewon Hispaenaidd, a'r rhai o Portugal gynt, ag sy'n gwneuthur rhan arall o'r genedl hon, y rhai a giliasant yma, i ochelyd creulonderau y chwil-lys. Y mae Strada yn cyhuddo un o'u blaenoriaid o arfer dichell yn rhyfeloedd yr Is-wledydd, ac ennyn tân gelyniaeth, trwy addaw llawer o gymmorth. Ei enw ydoedd Michez. Yr ydoedd yn Yspaeniad o enedigaeth; ond ofn cospedigaeth a barodd iddo ymofyn am noddfa yn Antwerp, lle y tyfodd mewn adnabyddiaeth a chyfeillgarwch, nid yn unig â swyddogion y ddinas hon, ond a Mari brenhines Hungari, yr hon oedd yn teyr-

nasu y pryd hynny. Wrth fyned o Antwerp i Venice, ac oddi yno i Constantinopl, fe 'srifenodd at y rhai terfysglyd a adwaenai, ac at brotestaniaid Antwerp, i arwyddo, "mai'r ffordd oreu ydoedd i lynu yn wastadol wrth y cyngrair a wnaethent yn erbyn y Catholiciaid, oblegid fod ymerawdr y Tyrciaid yn myfyrio amcan yn erbyn y Cristionogion; ac mewn byr amser fe ddyrysai y brenin Phylip yn y fath fodd ag i beidio gadael hamdden iddo, i feddwl am achosion yr Iseldiroedd." Ei lythyrau a ddarllenwyd yn senedd Antwerp, ac a roddodd annogaeth fawr i'r cyngreirwyr, ond Michez ni chyflawnodd ei addewid. Efe a ddilynodd y golygiadau oedd gan ei feistr, yr hwn a drodd ei arfau yn erbyn teyrnas Cyprus. Yn unig fe ymddengys fod yr Iuddewon yn fwy diogel yn yr Isel-diroedd nag yn 'Spaen, gan i Michez gael noddfa yno; ond nid ydoedd uwch deugain o flynyddoedd, er pan ddechreuasai y ffoaduriaid o 'Spaen a Phortugal sefydlu yn Holand. Eu cynhulliad cyntaf yn Amsterdam a fu'n achlysur o beth eiddigedd yn y ddinas, lle'r oedd pob peth tan amheuaeth yn amser y rhyfel, yr hwn a ddygid ym mlaen gyd â bywiogrwydd mawr. Hwy a gymmerwyd am rai o'r grefydd Rufeinaidd, y rhai a guasasant eu hunain i fynu, ac a guddiasant eu delwau. Dywedent, eu herlid i'r lle o'u crefyddol addoliad; ond, fel na chawsant ddim ond llyfrau Hebraeg, a chyfraith Moses, ni osodasant un ammod arall arnynt, ond gweddïo tros lwyddiant y ddinas, yr hyn a addawsant ei wneuthur; ac ar yr un amser hwy a adeiladasant eu synagog cyntaf, yr hwn a alwasant yn dŷ Ben Jacob, o herwydd hynny oedd enw rhyw Iuddew cyfoethog gan yr hwn y sylfaenasid ef. Codasant hefyd synagog arall, yr hwn a alwent Neve Schalom, hynny yw, Tŷ yr Heddwch.

Spinosa, yr hwn a hynododd ei hun trwy neillduolrwydd ei ddaliadau, a anwyd yn Amsterdam 1632. Ei rieni oeddynt Iuddewon o Portugal, mewn amgylchiadau cysurus, ond ni dderbyniodd efe ond gwely o feddianau ei dad, ac yr ydoedd yn wastadol yn dlawd. Ni ymgyrhaeddodd at wybod y gyfraith, a dilyn y rabbiniaid, ond fe ddysgodd y gelfyddyd o lanhau gwydrau, a gwneuthur llygaid-ddrychau. Fe gymharodd ei hun i neidr a frathai ei chynffon, o herwydd nad oedd ganddo ddim yn weddill ar ddiwedd y flwyddyn, er byw o hono ar laeth a chawl. Fe ddysgasai Ladin gan Vendon Ende, yr hwn oedd yn dysgu yn Amsterdam; a'r hwn, wedi myned ymaith i Rikpus, a unodd y'nghydfradwriaeth y chevalier Roban, ac a ddibenyddiwyd. Dywedir mai yr athraw-ysgol hwn a hauodd yr hâd cyntaf o Atheistiaeth yn meddwl Spino. Ond philosophyddiaeth Descarter oedd yr hyn a ddododd ddiflasrwydd iddo ar egwyddorion y rabbiniaid. Ni chafodd yn eu hysgrifenadau wirioneddau wedi eu hadeiladu ar bethau amlwg, yr hyn a gyflwynodd Descarter i'w ddisgyblion.

Wedi ei ganfod yn esgeuluso y sabboth a'r synagog, hwy a ymdrechasant, yn ofer, i'w gadw yn eu mysg â lwfedigaeth blynyddol o fil o livres: trwy y gwrthodiad hwn, fe dynnodd arno ei hun y fath gasineb gelyniaethol, fel y meddyliasant ei drywanu ef. Fel yr oedd yn dyfod o hen synagog y Portugiaid yn Amsterdam, gwelai ddyn a chleddyf yn ei law, â'r hwn y ceisiodd ei frathu ef; ac, yn wir, yr ergyd yn unig a gyrhaeddodd ei hugan, neu ddilledyn uchaf, yr hon a gadwodd yn goffadwriaeth o'r ddamwain hon. Heb olygu ei hun mewn cyflwr diogel yng ngwlad ei enedigaeth, lle yr oedd yr Iuddewon yn lliosog ac yn alluog, fe chwiliodd am ddiogelfa yn agos i Leyden, ac ar ol hynny yn yr Hague. Yr oedd yr ysgymmundod mawr wedi ei daranu yn ei erbyn; ond efe a dystiolaethodd yn wrthwyneb i'r ddedryd hon a roddasid yn ei absennoldeb; ac a arwyddodd ei dystiolaeth mewn ysgrifen yn iaith yr Yspaeniaid, wedi ei chyfarwyddo at y rabbiniaid yn y synagog. Fe gyhoeddodd yn gyntaf eglurhad o egwyddorion Descarter, yn ol hynny ei fyfyrdodau. Cafodd lawer o annogaethau a gwahoddiadau, ond efe a'u gwrthododd oll, ac a fu farw yn yr Hague, 1677, yn bedair blwydd a deugain o oedran.

Yr ysgrifenydd enwog hwn a adawodd o'i ol blaid a gynhaliodd ei egwyddorion. Ni's gallwn ddywedyd pa nn a ydynt yn lliosog, gan ei bod yn gynnwysedig o bersonau gwasgaredig mewn amryw leoedd, y rhai ni ffurfiwyd yn un math o gorph neu gymdeithas. Fel yr oedd ganddo amryw ganlynwyr neu ddisgyblion, felly hefyd yr oedd iddo amryw

wrthwynebwyr o'i genedl ei hun, yn enwedig y dysgedig Balthazar Orobio, Yspaeniad o enedigaeth, a physygwr wrth ei swydd. Ei rïeni y rhai a broffesent y grefydd Rufeinig, a'i dysgasant yn brydlon i ragrithio fel hwy eu hunain. Fe astudiodd philosophi, a daeth yn ddarllenydd goruwch-naturiol bethau yn athrofa Salamanca, trwy ei fod yn hoffi'r gelfyddyd hon, pa un ydoedd y pryd hwnnw wedi ei gwella yn fawr. Efe, yn ol hynny, a ddaeth yn physigwr yn Seville, lle y goddiweddwyd ef gan y chwil-lŷs, o herwydd na ddirgelodd ddigon ar ei grefydd i symmud pob ammheuon. O'r diwedd wedi blino ar ffuantrwydd, fe ddaeth i Amsterdam, lle'r enwaedwyd arno, ac y gwnaeth broffes gyhoeddus o Iuddewaeth. Fe arferodd physigwriaeth yno gyd â pharch mawr; ac a sicrhaodd i ni, na chaniattaodd ei alwedigaeth iddo gymhwyso ei hun at astudio megis y chwennychasai. Wedi ymddangos o lyfr Spinosa, fe'i diystyrodd ar yr olwg gyntaf, ar gyfrif ei awdwr; ond pan gafodd attebiad Bredenburgh iddo, yn yr hwn y cyttunai'r awdwr hwnnw â Spinosa mewn dau o osodiadau peryglus, fe ymddangosodd megis yn petruso yn eu cylch. Orobio a gymmerodd yn llaw eu gwrth-ddywedyd bob un, ac ynghyflawniad y gorchwyl hwn, fe brofodd ei hun yn alluog i wahaniaethu pethau goruwch-naturiol.

Fe sicrhawyd gan amrywiol awdwyr, yn Iuddewon a Christionogion, fod y deg llwyth yn cael eu cynnal hyd yn bresennol yn China. Un o'r Iuddewon a ddywed i ni, fod synagog yn Pecin, yr hwn a gostiasai iddynt ddeg mil o goronau yn ei adgyweirio. Dywedodd hefyd sefydlu o honynt yn y dalaith hon uwchlaw pum cant o flynyddoedd; a darfod iddynt gadw mewn modd crefyddol, un o bump llyfrau Moses, pa un a alwodd yn Sepher Thora. Ni allai ddarllen Hebraeg, o herwydd iddo esgeuluso ei dysgu yn ei ieuengctyd; felly'r ydoedd yn cael ei gadw oddiwrth swyddau'r synagog, y rhai a arferid gan ei frawd, am ei fod yn deall yr iaith; ond efe a adroddodd rannau historiaol yr Hen Destament, yn enwedig y rhai y'nghylch Abraham, Judith, ac Esther. Efe a chwanegodd, fod ym mhrif-ddinas talaith Chequiam amryw synagogau, a theuluoedd Israeliaidd; canys hwy a roddent iddynt eu hunain yr enw hwnnw, oblegid trwy eu bod o hiliogaeth y deg llwyth, ni adwaenent yr enw Iuddewon. Alveraz, yr hwn a fuasai yn aros yn China, a sicrha, ddarfod iddynt sefydlu yno uwchlaw 600 o flynyddau, a mwynhau amryw ragorfreintiau, ar gyfrif eu gwasanaeth, a'u ffyddlondeb i'r brenin Hun; eu bod yn dra lliosog mewn rhai ardaloedd; ac a chanddynt synagogau yn eu dinasoedd mawrion, ond yn fwy enwedigol yn Honan, ac yn Cai-tong-fu, lle y mae ganddynt ystafell i'r llyfr cyssegredig, wedi eu haddurno â llenni gwychion, ac ym mha un y cadwant Fibl Hebraeg o henafiaeth mawr. Dywedir i ni na ŵyr yr Iuddewon hyn, pa fodd bynnag, ddim Hebraeg, ac yn unig a grybwyllant enwau Abraham, Isaac, a Dafydd; eu bod yn dra anwybodus ac esgeulus o'u cyfraith; gan esgeuluso'r enwaediad, am fod y Chinesiaid yn eu gwaradwyddo â'r creulondeb a wnant wrth gyflawni y ddefod honno ar fabanod diniweid.

Yn Lloegr, yr Iuddewon a fwynhasant amryw ragorfreintiau tan amddiffyniad Cromwel. Y llywodraethwr synhwyrgall hwnnw, ynghyd â'i senedd, a rag-welsant amryw fanteision a allai ddyfod o ganiattau rhyddid iddynt: hwynt-hwy yn ganlynol a gawsant fwy o nodded tan ei lywodraeth ef na neb o'r brenhinoedd rhagflaenol; a'r rhagorfreintiau a ganiattawyd iddynt yr amser hwnnw sydd yn parhau hyd y dydd presennol. Nid oes dim wedi digwydd o werth sylwi arno ymhellach yn hanes yr Iuddewon. Eu sefyllfa bresennol, a'r moddion a arferir tu ag at eu dychweliad, sydd yn hysbys i lawer: y goddefiad cyffredinol o bob crefydd, ag a ganiatteir yn y dyddiau hyn, a berthyn hefyd i hiliogaeth Abraham. Ac er eu bod yn cynnal eu cymmundeb gwahanol, ac yn dilyn ordinhadau Moses, ni erlidir dim arnynt, ond a ganiatteir iddynt rydd ymarferiad o'u crefydd, heb eu haflonyddu oll. Y bobl hyn ydynt yn wasgaredig tros yr holl ddaear; a chan bob llywodraeth y mae tystion byw, trwyddynt hwy, o wirionedd dwyfol ddatguddiad.

Oddiwrth holl hanes yr Iuddewon, a'i chymmeryd ym mhob rhan, y mae yn wirionedd, tu hwnt i bob ammheuaeth, mai ANGHREDINIAETH a fu yn achos o'u holl helbul a'u trallodion. Golwg ar droïon neillduol a ddigwyddodd iddynt yn yr oesoedd boreuaf, a ddengys esiampl-

au hynod o ddwyfol drugaredd a chyfiawnder, yn gystal a'r sicr effaith o anghred a diedifeirwch. Anufudd-dod a ddilynodd gystuddiau, a chystudd waredigaeth: ufudd-dod a gafodd ei wobrwyo, ac anufudd-dod ei gospi. Oddiyma y canlyn, mai megis y mae prif-ddedwyddwch dyn yn gynnwysedig mewn cyd-ymffurfiad â'r ewyllys ddwyfol, ac fel y mae'r ewyllys hwnnw yn unig yn cael ei wneud yn adnabyddus trwy ddwyfol ddatguddiad, pa un sydd yn gosod allan gyflawn hyfforddiad yn y cwbl; ei ddoethineb a'i ddedwyddwch pennaf ydyw derbyn yr unrhyw gyd â'r holl barch dyledus i'r gwreiddyn neu ffynhonell o hono; a chadarnhau ei hun ac eraill yn y grediniaeth a'r ymarferiad o ddwyfol wirionedd, trwy bob moddion a rodder yn ei feddiant. Ond er holl oruchwyliaethau anwrthwynebol allu Duw, a'r amlygrwydd parhaus o'i ddaioni tu ag attynt, nid cynt y rhyddheid yr Iuddewon o'r gofidiau a lefent o'u plegid, nag y syrthient i ammheuaeth, ac anystyriaeth o allu ac awdurdod y Goruchaf. Mewn amserau canlynol eu hymddygiad a barhaodd yn ddigyfnewid; ac hyd y dydd hwn y maent yn ymddangos yn gogwyddo at ddinystr, trwy barhau mewn gwrthnyssigrwydd ac anghrediniaeth. Caniattaed Duw i'r llen o anwybodaeth gael ei symmud ar frys oddi wrthynt; fel y byddo iddynt, megis personau neillduol, a chyd-genedl yn gyffredin, gael eu dwyn i weled goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, fel y mae yn llewyrchu ym mherson y Cyfryngwr Iesu Grist.

---

# AMDDIFFYNIAD
# HYNAFIAETHAU YR IUDDEWON,
## MEWN ATTEBIAD I APION;
*YN GYNNWYSEDIG YN*
# EPISTOL FLAVIUS JOSEPHUS
AT
# EPAPHRODITUS.

---

## LLYFR I.

---

YN fy hanesiad o Hynafiaethau yr Iuddewon (anrhydeddus Epaphroditus) mi ddywedais ddigon i sicrhau am ddisgyniad cyntaf yr Iuddewon; ac i ddangos eu bod yn bobl a'r nad ydynt yn derbyn eu dechreuad oddiwrth neb rhai eraill; ac i brofi eu hawl i'r hynafiaeth cyntaf hwn er dechreuad amser. Hyn a wnaethum yn amlwg trwy gasgliad o hanes ffyddlon am bum' mil o flynyddau, wedi ei chrynhoi gan mwyaf o'r ysgrifeniadau cyssegredig: etto hyn a fu yn annigonol i'm diogelu rhag enllibiau mwyaf gwarthus, neu ynnill i'm hanes enw rhagorach na chwedl. Gofynwyd gan fy ngelynion, os oedd yr Iuddewon o'r fath ddechreuad gwahaniaethol ag a ddarfu i mi eu gwneuthur, pa fodd y digwyddodd na ddarfu i'r goreu o haneswyr Groegaidd grybwyll dim am yr amgylchiad. Mae'n gweddu i mi, gan hynny, am dri o resymmau eglur, i dystio'r gwirionedd: yn y lle cyntaf, i wrthbrofi fy ngelynion; yn yr ail, i hyfforddi'r anwybodus; ac yn y trydydd, egluro holl amgylchiad yr achos, mewn modd

teg ac amlwg o flaen pawb a garant wirionedd. Y'mherthynas i awdurdod fy hanesion, caf wneuthur defnydd o'r rhai hynny yn unig ag y mae'r ysgrifenwyr Groegaidd eu hunain yn eu perchi fwyaf: y'mherthynas iddynt hwy, trwy ba rai y goganwyd fi neu fy ysgrifeniadau, un ai trwy anwybodaeth neu falais, bydd i mi hefyd geisio egluro, pa fodd y daeth ddarfod i'r Groegiaid yn gyffredin gymmeryd cyn lleied o sulw o'r Iuddewon; ac a brofaf mai, y'mherthynas i ysgrifenwyr neillduol yr oeddynt, neu a gymmerent arnynt fod yn hollol anwybodus, pa rai a ddarfu i mi grybwyll am danynt.

Y mae'r byd yn llawn o bobl ag sydd yn ymostwng cymmaint i farn y Groegiaid, fel y maent yn eu hystyried fel yr unig bersonau teilwng i ymgynghori â hwynt ymherthynas i hanesion credadwy, er sarhad ac ammharch i ddynion o genedlaethau eraill, pa rai bynnag. Yn awr, yr wyf yn addef fy mod yn mawr ryfeddu wrth ryfyg y rhai a gymmerant arnynt fod yn gyfarwydd mewn hynafiaeth, pan wrth-ddywedir hwynt yn gyson gan reswm a gweithred amlwg. Yn y mater o hanesyddiaeth, ni ddylem gymmeryd ein llywodraethu gan farn neu dŷb unrhyw ddyn neillduol, neu gorph o ddynion, ond ar dystiolaeth du fewn y digwyddiadau eu hunain.

Y'mherthynas i'r Groegiaid, pob peth yn eu mysg a ymddengys i mi wedi ei wahaniaethu â gwëad o newydd-deb. Eu hadeiladau, eu celfyddydau, a'u cyfreithiau ydynt o ddiweddarwch nid bychan; a'r defnydd hefyd o hanesyddiaeth yn eu plith hwynt sydd o ddiwygiad tra diweddar. Yn y gwrthwyneb, hwynt-hwy eu hunain a addefant fod yr Aiphtiaid, y Caldeaid, a'r Phœniciaid (heb grybwyll am yr Iuddewon) yn cadw eu coffadwriaethau prydlon yn rheolaidd, i draddodi i'w hiliogaeth gyfrif o'r pethau hynod a ddigwyddodd mewn amserau gynt. Y rhai hyn a gadwyd trwy'r moddion o gof-golofnau ac argraphiadau, yn ol cyghorion y gwŷr doethaf yn eu mysg; fel na byddai i goffadwriaeth eu cyhoeddus orchwylion fyned y'nghoII, ond cael eu coffâu yn ffyddlon i oesoedd ar ol. Y mae hefyd yn deilwng o sulw, fel ag yr oedd y bobl hyn mewn awyr glir, ac ardal hyfryd, a bod eu colofnau yn llai darostyngedig i lygru a llwydo: yr hyn mewn un modd nid ydoedd yr amgylchiad gyd â'r Groegiaid, y rhai ni roisant orchymmyn am y fath argraphiadau, ac ni chadwasai eu hardal hwynt yn ddilwgr.

Y mae yn dra naturiol i'r rhai a osodant i fynu lywodraethau neu gymdeithasau newyddion, i feddwl eu hunain yn berffaith yn y gelfyddyd o lywodraethu. Y'mherthynas i'rGroegiaid, eu cyfarwyddyd mewn dysgeidiaeth, a ddigwyddodd yn ddiweddar, ac nid ydynt y pryd hwn wedi cyrhaedd i radd gyflawn o berffeithrwydd yn y gelfyddyd yma. Am eu hynafiaeth yn y peth neillduol hwn, nid ydynt eu hunain yn honni pellach dechreuad na'r Phœniciaid; gan ystyried Cadmus fel eu hathraw cyntaf: ond yn eu temlau, neu eu cof-lyfrau, ni allant ddwyn ger bron un dangosiad awdurdodol o'r amser y damweiniodd y pethau y maent yn cyfeirio attynt. Fe gyfaddefir, pan ddadleuwyd pa un a ydoedd gwybodaeth lythyrenol yn adnabyddus yn amser rhyfeloedd Troïa, y gofyniad a benderfynwyd yn naccäol; ac fe brofwyd nad oedd y fath adnabyddiaeth y pryd hwnnw mewn bod. Sicr yw, nad oes un llawysgrifen Roegaidd i'w gweled wedi ei hysgrifennu o flaen prydyddiaeth Homer; ac mae'n gydradd sicr fod rhyfel Troïa wedi diweddu cyn ysgrifennu y gân neu'r brydyddiaeth hon. Fe gyffesir hefyd, na ddarfu i Homer ei hun erioed draddodi ei waith yn ysgrifenedig, ond darfod arfer ei ganu o amgylch fel cân gyffredin, yn amryw fannau, nes i'r bobl ei ddysgu ar dafodleferydd, ac ym mhen amser, cymmerwyd copïau o hono allan o gôf y datganwyr; yr hyn sy'n rhoddi cyfrif amlwg am nifer y cyfeiliornadau, a'rgwrthddywediadau a geir yn y llaw-ysgrifeniadau cyntaf.

Mewn perthynas i Cadmus, y Milesiad, Acusidaus, a Groegiaid eraill, pa rai yn yr amser canlynol a gyfrifwyd yn hanesyddion; y rhai hyn oeddynt mewn bod ychydig amser yn unig cyn yr ymgyrch i dir Groeg a wnaethpwyd gan y Persiaid. Pherecides o Syros, Pythagoras, a Thales, pa rai oedd o hynafiaid eu philosophyddion, a gyd-unant i addef ddarfod iddynt dderbyn eu gwybodaeth oddiwrth yr Aiphtiaid a'r Caldeaid: ac er caniattau i'r hyn a roddwyd mewn ysgrifen y'nghylch y pethau hyn yr awdurdod o hynafiaeth; etto y mae yn ambeu-

aeth hyd y dydd hwn, ai'r personau a grybwyllir uchod ydoedd wir awdwyr y traethiadau a arwyddir. Pan y mae nifer o ysgrifenwyr yn cyttuno ar yr un peth, ac yn cyd-gyfarfod mewn perthynas i le ac amser y digwyddiadau, y mae'n arwydd fod yr hanes yn gywir: ond y Groegiaid a brofasant pa le'r oedd y gwirionedd yn sefyll, trwy eu gwrthddywediad y naill o'r llall. Pe'r unig ymryson rhyngddynt hwy a ninnau a fuasai y'nghylch cywreinrwydd ymadrodd, ni wadasem iddynt y rhagoriaeth: ond y'mherthynas i hynafiaeth a damweiniad, y mae mewn modd amgen.

Fe wyddys fod yr Aiphtiaid a'r Babiloniaid yn yr hen amseroedd yn dra gofalus yn nodi eu cyfrifon a'u hanesion blynyddol. Ym mhlith yr Aiphtiaid y gofal hwn o goffâu pethau a orchymmynid i'r offeiriaid, y rhai oeddynt yn astud ac yn ofalus y'nghyflawniad o'r ddyledswydd hon. Siampl y Babiloniaid a ddilynwyd gan y Caldeaid; a'r Phœniciaid, wedi eu corphori â'r Groegiaid, a ddysgasant y defnydd o lythyrenau iddynt, a pha mor bell yr oeddynt yn wasanaethgar i amryw achosion mewn bywyd, a chadwraeth traddodiadau cyhoeddus. Ond fel y mae hwn yn achos ag a addefir gan bob pleidiau, afreidiol yw i mi lefaru ychwaneg am dano yn y lle hwn: o herwydd paham mi foddlonaf fy hun â sylwi yn fyr ddarfod i'n hynafiaid ni gymmeryd, o'r hyn lleiaf gymmaint, os nid mwy gofal i gadw y drefn a'r rheol yma yn eu mysg, nac un genedl arall: canys yr archoffeiriaid a'r prophwydi a roisid tan orchymmyn i arfer yr awdurdod hon, a'r ymarferiad a gynhaliwyd i fynu yn rheolaidd hyd yr amser presennol; ac, os caniatteir fi i brophwydo, mi feiddiaf ryfygu dywedyd, na fetha hyn hyd y diwedd: canys gofal a gymmerwyd yn y dechrau i ddewis personau o neillduol dduwioldeb a rhinwedd i'r swydd o offeiriadu (heblaw y rhai a gynhwysid i wasanaeth yr allor); a rhagddarbodaeth a wnaethpwyd na fyddai i lîn yr offeiriadaeth gael ei halogi â chymmysgiad âg un teulu arall: canys ni chyfrifir neb yn addas i gyflawni swydd offeiriad, oddi eithr fod ei fam â'i disgynfa o dylwyth yr offeiriaid; o herwydd paham, heb olygu cyfoeth na graddau, y dyn a gleimia ei hawl i'r swydd offeiriadol, oedd raid iddo ddwyn nifer o dystion i brofi ei ddisgyniad yn rheolaidd o'r llîn honno.

Dyma nid yn unig fel y mae'r achos yn Judea, ond yn yr Aipht, Babilon, a phob lleoedd trwy'r ddaear ag y mae ein pobl ni yn wasgaredig yn ddynt: canys y mae ein hoffeiriaid yn ei wneuthur yn bwngc o gydwybod i beidio priodi neb ond rhai o'u llwyth eu hunain. Pan fyddont â thuedd i briodi, y maent yn anfon i Jerusalem enw y briodferch (trwy gydsyniad ei thad), gyd â darlun o'i hachau wedi ei iawn dystio. Ond yn amser rhyfel (yr hyn a ddigwyddodd yn fynych), yn enwedig yn nyddiau Antiochus Epiphanes, Pompey y mwyaf, a Quintius Varus, ac hefyd yn amser ein côf ein hunain: yn yr achosion yma yr offeiriad a fyddo byw yn bresennol sy'n cyflawni ac yn diwygio yr hen goffadwriaethau, ac yn gwneuthur rhai newyddion; a'r gwyryfon sydd yn aros yn ammhriod a holir yn y dull manylaf. Ni phriodir yr offeiriaid un amser â rhai o blith caethion, rhag ei fod yn achos o gymmysg dieithrol; ac ni all fod prawf cadarnach o'u huniondeb, nag, wedi yspaid dwy fil o flynyddau, fod enwau ein holl offeiriaid yn aros mewn coffadwriaeth o dad i fab. Os ym mhlith yr offeiriaid y ceir rhyw un yn traws-ddadleu, ac wedi ymadael â'r gwir, efe a symmudir oddiwrth gyflawniad ei swydd, ac a waherddir i wasanaethu wrth yr allor. Trwy'r mynediad yma o bethau ym mlaen, yr ydym yn ddiamheuol ac yn anocheladwy ar yr iawn. Ychydig nifer o bersonau a roddwyd cennad iddynt i ysgrifenu; ac nid ydym yn cael dim anghyssondeb ym mysg y rhai a ysgrifenasant. Y'mherthynas i hynafiaethau llyfrau y prophwydi, nid ydym yn eu cyfrif gymmaint yn hanesion ac yn ddwyfol ddatguddiadau. Ac am y rhai a adroddant hanes eu hamserau eu hunain, ychydig ydynt o rifedi, ond eu hadroddiadau sydd yn gyffredin yn cyttuno â'u gilydd.

Nid wyf yn cyfrif fod ychwaneg na dau ar hugain o lyfrau pa rai yr ydym ni yn rhwym i'w credu; ac yn y rhai hyn y cynhwysir hanes y byd o'i ddechreuad hyd yr amser presennol. O'r dau ar hugain yma o lyfrau, pump a ddefnyddir i roddi hanes am greadigaeth y byd, a chenhedliad dynol ryw. Yr hanes yma a barhâ hyd farwolaeth Moses, ac sy'n cynnwys yr amseriad o gylch tair mil o flynyddau.

Pob un o'n prophwydi a ysgrifennodd hanes

yr oes ag yr oedd yn byw ynddi, o farwolaeth Moses hyd deyrnasiad Artaxerxes, mab Xerxes, brenin Persia; a'r hanes yma a gynhwysir mewn tri ar ddeg o lyfrau; a'r pedwar llyfr eraill sy'n gynnwysedig o hymnau dwyfol, a rheolau moesol. Y mae gennym yr un modd restrau rheolaidd o hanes, o ddyddiau Artaxerxes hyd yr amser presennol, y rhai ydynt mewn cyfrifiad mawr gennym, ond nid yn gydradd eu parch â'r lleill, o herwydd nad ydynt o'r un awdurdod a chyssegriad trwy ddilyniad parhaus o'r prophwydi. Mewn perthynas i'r ysgrifeniadau eraill, yr ydym yn rhoddi cymmaint o barch i'w cynhwysiad a phe buasem yn llygaddyst o'r amgylchiadau a draethir am danynt; canys nyni a wyddom pa hyd y parhasant, heb gynnyg eu hestyn neu eu byrhau, na'u trawssymmud mewn un modd, a'u hysgrifeniadau hwy a gyfrifwn yn ddwyfol: yr ydym yn eu gwahaniaethu wrth yr enw hwn; ac fe'n haddysgir o'n mebyd i'w hystyried yn y cyfryw oleuni, a thalu ufudd-dod dyledus iddynt; ac, os bydd angenrhaid, i ddioddef marwolaeth trostynt, neu er eu hamddiffyn, yn hytrach na gwadu eu dwyfoldeb.

Nifeiri o'n cydwladwyr ydynt y pryd hyn yn gaethion, ac yn dioddef amryw arteithiau; yn ymdrechu âg angau yn ei wedd mwyaf arswydus, yn ymladd â bwystfilod mewn chwareuleoedd, ac â dynion mwy bwystfilaidd na hwythau: a hyn i gyd o herwydd gommedd o honynt ymwrthod â chyfreithiau eu gwlad, a chablu y Duw yr oedd eu tadau yn ei addoli! A ellir dywedyd ddarfod i'r Groegiaid erioed ddangos y fath brawf o'u ffyddlondeb ac ymroddiad? Y bobl hynny a wrthodasent fyned tan y fath brofiad yn amddiffyniad yr hyn oll a gyfrifent yn fwyaf anwyl: ond y gwir yw, eu bod yn cyfrif y pethau hynny a ddylid eu hystyried yn gyssegredig, megis defnydd ffurfiol yn unig; a'u historiawyr pennaf ydynt wedi bod yn feïus yn hyn. Y maent yn fynych yn dechreu ysgrifeniad eu hanesion heb iawn wybodaeth o'r pethau neillduol a gyfeiriant attynt; heb ymgynghori â'r rhai a fuasai yn y man a'r lle, ac â rhai ganddynt yn y gweithredoedd hynny: neu os ymgynghorant â hwynt, ni roddant grediniaeth i'r hyn a ddywedant. Hanesion tra hynod o'n diweddar ryfeloedd a gyhoeddwyd gan rai na fuasent erioed mewn digon o agosrwydd at le'r ymladdfa i allu ffurfio y dealltwriaeth lleiaf o'r hyn a wnaethpwyd; ond y drefn a gymmerasant ydoedd casglu cymmysgedd o hanes y'nghyd oddi ar sôn neu ddychymmyg ansicr, ac yna cymmeryd iddynt yr enw o hanesyddion mwyaf cywir.

Pa fodd bynnag, myfi a weithredais mewn dull tra gwahanol; canys ni adroddais un peth ond yr hyn a welais, neu a gefais sicrwydd am dano; canys yr oedd gennyf gyfleusdra digonol i wneud fy hun yn hyspys o'r amrywiol droëon neu weithrediadau. Bum mor ffyddlon yn adroddiad y damweiniau, ag oeddwn o fanyldra yn chwilio am y gwirionedd o honynt. Cyhyd ag y gallodd yr Iuddewon ymgynnal eu hunain yn erbyn y Rhufeiniaid, yr oedd gennyf yr anrhydedd o flaenoriaeth yn Galilea. Ond fy anhap o'r diwedd a fu fy nghymmeryd yn gaeth, a'm dwyn at Vespasian a Thitus. Yn y sefyllfa hon fe'm cadwyd mewn rhwymau; ond caniattawyd i mi yn fuan wneuthur sulw o'r hyn oll a ddigwyddodd o amgylch, a chyn bod yn hir ar ol hynny mi fwynheais fy rhyddid: ac wedi i'r gwarchae ar Jerusalem gymmeryd lle, mi aethum ymaith o Alexandria gyd â Titus.

Yr oeddwn yn awr yn ddiwyd yn fy sulw ar yr hyn oll a ddigwyddodd; ac yn dra hyspys o holl symmudiadau'r fyddin: bum yn eithaf gofalus i draddodi pob amgylchiad yn gymmwys fel y digwyddodd. Mewn perthynas i sefyllfa'r ddinas, fe'm hyspyswyd o hono gan garcharorion ac encilwyr, y rhai oeddynt oll tan fy neillduol drefniad, wedi eu gorchymmyn yn bendant gan yr ymerawdwr. Mewn gwirionedd, mi gymmerais bob cyfleusdra addas i wneud sylwiadau o'r cwbl yn ysgrifenedig; ac oddiwrth y sylwiadau hynny y cyfansoddais fy hanes.

Wedi gosod sylfaen fy ngwaith i lawr y modd hwn, pan ddychwelais i Rhufain mi gefais gynnorthwy rhai o'm cyfeillion ag oedd gyfarwydd yn yr iaith Roeg, ac a aethum ym mlaen yn yr hanesiad; ym mha un y dilynais reol y gwirionedd mor agosed, a'r nad oedd amheuaeth genyf na roddai Vespasian a Thitus eu tystiolaeth i'r unrhyw er fy nghymmeradwyaeth. Cyn gynted ag y gorphenais fy llyfr, mi a'i cyflwynais i'r personau ardderchog, ac ar ol hynny i amryw

wŷr enwog o Rufeiniaid a fuasai yn flaenoriaid yn y rhyfel. Gwerthais gopïau eraill i amryw o'n pobl ein hunain, y rhai oedd yn adabyddus o'r iaith Roeg; yn enwedig i Julius, Archelaus, y dysgedig Herod, a'r godidoccaf frenin Agrippa. Yn awr y rhai hyn oll a'm canmolasant, megis un wedi cyflawni dyledswydd historiawr ffyddlon; y rhai, pe amgen, a fuasent sicr o arwyddo'r hyn oedd ffugiol, pe cawsent fi trwy anwybodaeth neu fwriad yn pellhau oddiwrth y gwirionedd. Etto rhai personau a'm cyfrifent megis twyllwr y byd; ond yr enllibwyr hyn nid ystyriasant, y dylai'r dyn a gymmero arno adrodd yr holl wirionedd, ei wneuthur oddi ar ei wybodaeth ei hun, neu hyspysiad y rhai a all hydero arnynt: ac mi a gymmerais bob un o'r trefniadau hyn i berffeithio fy ngorchwyl.

Megis y gweithredais yn enw offeiriad, mi dalfyrais, yn gyttûn a'm proffes, fy hynafiaethau o'r ysgrythyr sanctaidd, ac a'u trefnais yn y modd mwyaf rheolaidd. Y'mherthynas i hanes y rhyfel, yr oedd gennyf law weithredol yn yr amryw rannau o hono, ac a oeddwn yn edrychwr o ddamweiniau eraill: felly ni's gallwn fod yn ddieithr i unrhyw beth a ddigwyddodd. Pa mor drahaus ydyw gan hynny yn fy ngelynion, i gymmeryd arnynt ammeu gwirionedd fy nhraddodiadau! Er caniattau, megis ag y dywedant, ddarfod iddynt weled teith-lyfrau Titus a Vespasian, pa fodd y gall hynny wanhau gwirionedd fy hanesiad i, ag sydd yn traethu i ba rai y mae'n rhaid fod y cadflaenoriaid Rhufeinig yn gwbl ddieithrol.

Nid oedd amgen na pheth cymmwys i mi amgylchynu ychydig y modd hwn, i ddangos pa fath historiawyr sydd i ni ddisgwyl, lle y byddo y tuedd hwn yn llywodraethu: ond mi dybiaf i mi ddywedyd digon i foddloni unrhyw ddyn rhesymmol yn y pwngc o wirionedd a rhagoroldeb hanes; ac y dylai'r Groegiaid yn hyn roddi'r goreu i'r Barbariaid.

Rhaid im' yn awr lefaru wrth y fath hynny o bobl, ag sy'n haeru nad yw'r Iuddewon ond cenedl ddiweddar, ac a ddodant yn rheswm am hynny, na chrybwyllir am danom gan yr hanesyddion Groegaidd. Fe berthyn i mi goffâu rhesymmau allan o'n llyfrau ein hunain, i arddangos y malais disail gan yr hwn y cynhyrfir ein gelynion. Mewn perthynas i le ein preswylfod, y mae mewn gwlad ganoldir; ac y'mherthynas i fasnach a mordwyaeth, amgylchiadau ydynt y'nghylch pa rai ni roisom ein hunain erioed i ofalu. Ein dinasoedd ydynt wedi eu symmud ym mhell oddiwrth y môr; ein daear sydd ffrwythlon, a'n tiroedd a lafurir yn y modd goreu. Yr ydym yn ymroddi ein hunain yn fawr i gynnal ac addysgu ein plant, ac yn ei gyfrif yn orchwyl pennaf ein bywydau i gymmeryd gofal am eu haddysgu mewn ymarferiad duwiol, ac mewn sulw manylaf o gyfreithiau ein gwlad. Heblaw yr amgylchiadau hyn, y mae gennym ddull o fywiolaethu yn ein mysg perthynol i ni ein hunain; oddiwrth yr hyn yn unig yr ydym yn sicr na's gallem mewn amserau gynt fod ag un gyweithas rhyngom â'r Groegiaid, megis yr oedd gan y Phœniciaid, yr Aiphtiaid, a phobloedd eraill, er mantais oddiwrth fasnach a mordwyaeth. Ein hynafiaid ni ddilynasant siampl cenedlaethau eraill, trwy wneud rhuthriadau ar eu cymmydogion i chwanegu eu tiriogaeth eu hunain; er nad oeddynt mewn un modd yn ddiffygiol o nifer na chefnogrwydd, i wneuthur eu hunain yr arswydol, pe buasent yn tueddu i weithredu yn y ffordd honno.

Trwy'r moddion a grybwyllir uchod, y Phœniciaid a ddaethant yn adnabyddus i'r Groegiaid, a thrwy y rhai hyn yr Aiphtiaid, ac eraill oedd â masnach rhyngddynt â gwlad Groeg. Yna y Mediaid a'r Persiaid, wedi meddiannu yr awdurdod ar Asia, y rhai diweddaf a ddygasant ryfeloedd i Europe. Y Groegiaid a adnabuont y Thraciaid trwy eu cyd-gymmydogaeth; y Scythiaid oddiwrth eu cyweithasrwydd â'r rhai a adwaenent drigolion Pontus: ac fel hyn ni allai fod diffyg historiawyr ar duedd moroedd y dwyrain a'r gorllewin: ond y parthau tufewnol o'r wlad ydoedd anadnabyddus iddynt. Hyn yn gyffelyb ydoedd eu hamgylchiad yn Europe. Canys wedi i'r awdurdod Rufeinaidd gymmeryd lle, a chael ei chadarnhau trwy olynol fuddugoliaethau; etto ni ddarfu i'r ymerodraeth alluog gael crybwyll am dani gan Herodotus, Thucydides, na neb o'r ysgrifenwyr oedd yn byw yr amser hwnnw: ac yr ydoedd yn amser maith cyn i'r Groegiaid feddiannu gwybodaeth o'u hanfodiad.

Pa feddyliau a allwn ffurfio am ysgrifenwyr yn gyffredinol, pan y darfu i Ephorus, un o'r

ysgrifenwyr hynottaf yn eu mysg, wneud y fath gyfeiliornad ag ydwyf y'nghylch ei adrodd. Wedi cymmeryd arno roddi cyfrif am y Gauliaid a'r Iberiaid, y mae'n darlunio teyrnas yr Yspaeniaid, a'r holl gyfandir ar ba un y saif, yn unig fel un ddinas; ac felly yn crybwyll pethau na weithredwyd, ac na feddyliwyd am danynt yno, fel hanes y lle ei hun. Anwybodaeth a gyfyd y modd hwn trwy ymgais i gyrhaedd gwirionedd mewn pellder rhy fawr, a gwagymddangosiad o fyned tu hwnt i'r gwir ei hun. A ddichon gan hynny fod yn un rhyfeddod, i bobl ag sy'n byw fel dieithriaid yn y byd, a than y fath reolau ag a arferir gan yr Iuddewon, fod yn ddiddefnydd i'r ysgrifenydd hanesiol?

Dychymyger, yn awr, im' droi dull y Groegiaid o ymresymmu yn eu herbyn eu hunain, a gwadu eu hynafiaeth o herwydd nad yw ein llyfrau ni yn ei grybwyll? Oni chyfrifid hyn yn ffolineb? Ac oni alwai'r Groegiaid eu cymmydogion yn dystion o wirionedd eu henaduriaeth? Os cyfrifid hyn yn beth iawn ynddynt hwy, ni all fod yn llai felly y'mherthynas i ni. Y prif dystion a ddefnyddiaf fi yw'r Aiphtiaid a'r Phœniciaid, er y cyfrifir hwynt megis ein gelynion. Y Caldeaid, pa fodd bynnag, sydd o duedd gwahanol tu ag attom. Buom gynt yn ddarostyngedig iddynt hwy: ac o achos ein cyd-berthynas, yn gystal ag ar gyfrif ein gwlad, hwy a'n crybwyllant mewn modd mwyaf parchus yn eu hysgrifeniadau.

## LLYFR II.

GOLYGAF ddarfod i mi eisoes roddi prawf digonol o hynafiaeth ein cenedl ni, ar dystiolaeth y Phœniciaid, Caldeaid, a'r Aiphtiaid, yn gystal a rhai ysgrifenwyr Groegaidd. Af rhagof yn awr (anrhydeddusaf Epaphroditus) i atteb y rhai a'm beïodd yn bersonol, yn enwedig Apion, y grammadegwr; er, mewn gwirionedd, nad yw'r fath ysgrifenydd ond yn brin yn deilwng o sulw. Ei draethiadau, i'r graddau uchaf, ydynt wael a chwedleugar; ei ysgrifeniadau yn bŵl ac yn dywyll: ymddengys yn anwybodus o'i destyn, ond y mae yn enllibaidd ym mhob peth a grybwylla: yn sicr y mae cymmysgedd yn ei ysgrifeniadau ag sy'n profi fod yr awdwr yn ansyber, yn chwyddedig, a therfysglyd i'r radd eithaf. Oddi ar yr ystyriaeth, pa fodd bynnag, fod ynfydion i'w cael yn amlach yn y byd na dynion o gallineb, y rhai a foddheir â ffolineb yn hytrach na synwyroldeb a rheswm; a chan ystyried, hefyd, fod y rhan fwyaf yn barottach i wrando ar ddirmygu na chanmol eu cymmydogion; fe'm denir i gymmeryd i fynu bin-ysgrifenu beirniad i geryddu y dyn rhyfygus hwn, am ei drahaustra yn anturio barnu yn yr achos yma; ac fe'm hannogir i fyned ym mlaen gan yr ystyriaeth o fod y byd yn gyffredin yn cael ei foddloni, trwy weled y drwg a dardd oddiwrth enllib yn dychwelyd ar ben yr enllibwyr.

Dull Apion o ysgrifenu sydd mor dywyll, ac y mae'r fath gymmysgedd yn ei adroddiadau, fel y mae yn anhawdd deall yr hyn y mae'n cyfeirio atto. Weithiau fe gam-gymmera hanes ymadawiad ein hynafiaid â'r Aipht, fel y gwnaethpwyd gan eraill, y rhai eisoes a wrthbrofais: pryd arall fe ymesyd ar yr Iuddewon yn Alexandria; ac yna defodau a seremoniau ein teml a'n haddoliad a oganir ganddo.

Cymmeraf yn awr sulw o'r hyn a ddywed Apion, yn enwedig yn ei hanes y'mherthynas i'r Aipht, llyfr y trydydd. Efe a ddywed, "Moses ydoedd a'i enedigaeth o Heliopolis, fel yr hyspyswyd i mi gan y bobl hynaf yn y wlad honno o fewn fy nghoffadwriaeth. Yn yr amserau gynt y bobl a gynhalient eu cynnulleidfaoedd crefyddol o tan yr awyr, nes i Moses, yn hwn boedd berffaith gyfarwydd yn addoliad ei wlad, berswadio y bobl i ymgynnull mewn tai yn y ddinas, gan eu cyfarwyddo bob amser i weddio â'u hwynebau tu â'r haul. Y'mherthynas i'r tai, yr oeddynt yn agored oddi arnynt, ac yn gynnwysedig o golofnau, gyd âg argraphiadau arnynt" Dyma ddychymygion ffuantus yr awdwr hwn: ond dewisaf yn hytrach adael i ysgrifeniadau Moses ei wrthddywedyd, na chymmeryd y dasg fy hun. Ni sonia Moses ddim am orchymmyn y fath ffurfiau ag a grybwyllir uchod y'ngwneuthuriad cyntaf y babell neu'r tabernacl; ac nid yw yn cyfarwyddo y cenedlaethau ar ol i'w harferyd. Ac ni wyddai Solomon (sylfaenwr cyntaf y deml yn Jerusalem) ddim am y fath adeilad ag a grybwyllir gan Apion. Dywed hefyd ddarfod ei hyspysu

gan wŷr oediog, fod Moses a'i enedigaeth o Heliopolis. Oddi yma fe ymddengys, gan ei fod ef yn rhy ieuangaidd i wybod am wirionedd y peth, iddo ymofyn â'i gyd-oesyddion, y rhai a ymddangosent eu bod yn dra hyspys o hono. Pa mor wag a direswm yw hyn! Ni fedrai Apion wybod am wlad enedigol Homer neu Pythagoras, er eu bod, mewn cydmariaeth, yn byw mewn oesoedd diweddar. Pa fodd y digwyddodd gan hynny, iddo fod mor glir ymherthynas i Moses, yr hwn a flodenodd amryw oesoedd o'u blaen hwynt, a hyn yn unig oddi ar yr hanes a gawsai gan hen ddynion?

Y mae historiawyr yn gydradd yn anghyttuno mewn perthynas i'r amser yr arweiniodd Moses y gwahangleifion, y cloffion, a'r deillion, allan o'r Aipht. Manetho a haera ddigwydd hyn yn nheyrnasiad Themosis, dri chant a phedwar ugain a deg o flynyddau cyn alltudio Danaus i Argos; Lysimachus a ddywed mai yn nheyrnasiad Boccoris y bu hyn, saith gant o flynyddau o flaen Molon; ac eraill a gyfrifant fel y b'o eu dychymmyg yn eu harwain: ond Apion yr hwn a gymmer arno gadw at y cywirdeb mwyaf, sy'n gosod yr amser ar y flwyddyn gyntaf o'r seithfed Olympiad, ym mha flwyddyn y dywed ddarfod adeiladu Carthage. Wrth y crybwylliad hwn am Carthage, mae'n ymddangos megis yn disgwyl cadarnhau ei gyfrifiad: ond pe cymmerasai hamdden i ail-ystyried, gwelsai ei fod yn rhoddi tystiolaeth i'w erbyn ei hun, yn enwedig pe sylwiasai ar goffadwriaethau y Phœniciaid; canys yr hanes hwnnw a'i gwna yn amlwg fod Hiram yn byw gant a hanner o flynyddau cyn adeiladu Carthage, fel y profwyd eisoes o hanesion blynyddol y Phœniciaid. Hiram ydoedd mewn cymdeithasrwydd mawr â Solomon, ac a gyfranodd fesur mawr o ddefnyddiau tu ag at adeiladu y deml yn Jerusalem. Y gwirionedd yw, nad cyn chwe chant a deuddeg o flynyddau wedi i'r Iuddewon ymadael o'r Aipht, y darfu i Solomon osod sylfeini'r deml.

Mewn perthynas i nifer yr alltudwyr, y mae Apion yn cydfyned â Lysimachus yn y cyfrifiad cyfeiliornus o gant a deg o filoedd: ond ei hanes am ddechreuad y gair Sabbath sydd dra anghall. Dywed, "Fel ag yr oedd yr Iuddewon wedi teithio chwe diwrnod, gorfu iddynt orphwys ar y seithfed, wedi eu gorddiwes gan gornwydydd, a phoethfa yn yr ymysgaroedd. Wedi cyrraedd y wlad a alwant yn awr Judea, galwasant ddydd eu gorphwysiad y Sabbath, oddiwrth y gair Sabbatosis yn iaith yr Aipht, pa un sy'n arwyddo, 'afiechyd yn y werddyr neu gylch yr arffed.' Pa mor ddieithr yw fod neb yn gallu ysgrifenu y fath bentwr o ansynhwyrdeb, gan ymdrechu i'w osod o flaen y byd yn y lle gwir hanesiad. Mae'n arwyddo cant a deg o filoedd o ddynion, oll yn glwyfus o'r un afiechyd! Os ydoedd y rhai hyn gloffion a deillion, fel y sonia mewn lle arall, pa fodd yr oedd yn bosibl i'r fath liaws annhymerus fyned rhagddynt yn eu taith trwy'r diffeithwch, ïe tros un dydd? Mor anhebygol ydoedd i'r fath rifedi aneirif o ddynion gael eu taraw ar unwaith â'r un afiechyd? Ni allai chwyl gyffredinol naturiaeth fyth fod yn achos o hyn? ac i ddywedyd darddu o hono oddiwrth ddamwain a fyddai n gyfeiliorni anfaddeuol.

Pa mor ddieithr yw tŷb Apion am gant a deg o filoedd o ddynion afiach yn ymdaith i Judea yn unig mewn chwe diwrnod! A pha fath ystori y mae'n ei adrodd ynghylch mynediad Moses i ben mynydd Sinai, rhwng yr Aipht ac Arabia, gan aros yno ddeugain niwrnod, a thraddodi'r gyfraith i'r Iuddewon ar ei ddisgyniad. Dau gwestiwn a gyfyd yn naturiol oddi yma. Pa fodd yr oedd yn bosibl i'r fath liaws aneirif o ddynion groesi y cyfryw ddiffeithwch dirfawr mewn chwe diwrnod? A pha fodd y gallent fyw ddeugain, mewn lle nad oedd bara na dwfr i'w gael?

Ei sylwiadau ym'herthynas i ystyr y gair Sabbath, sydd ffol i'r graddau eithaf. Nid oes dim perthynas rhwng arwyddoccâd y gair *Sabbo* a *Sabbatum*: y cyntaf yn ol ei ddeongliad ef sy'n arwyddo clwyf yr Aipht; wrth y diweddaf yr ydym ni yn deall y dydd a orphwysfa a gedwir gan yr Iuddewon. Ond nid yw ddim rhyfeddod i ddyn oganu eraill pan y mae yn gwrth ddywedyd ei hun. Ei le genedigol ydoedd Oasis yn yr Aipht; ond hyn a wâd efe, i'r diben o'i gyfrif yn Alexandriad; yr hyn a brawf nad oedd yn perchi yr Aiphtiaid; ac, yn wir, wrth yr enw hwnnw y mae'n gwahaniaethu yr holl rai hynny a ewyllysia eu henllibio: ac am y rheswm hwn, ym mhlith eraill, y mae'n ceisio dirgelu ei darddiad. Y rhai nad ydynt

yn cywilyddio arddel eu gwlad, a ofalant am gleimio eu hawl, a chyd ag awyddfryd a ddadleuant tros eu rhagorfreintiau. Mewn perthynas i'r Iuddewon, yr Aiphtiaid ar brydiau a honnant eu carenydd â ni, ac a ymffrostiant o'i blegid; ac mewn pethau o herwydd pa rai y gwaradwyddir hwynt, chennychant i ni gymmeryd rhan o'r gwarth. Apion, pa fodd bynnag, a dywalltai ei holl falais yn ein herbyn, fel pe byddai yn ceisio boddhau yr Alexandriaid, am ganiattau iddo rydd-fraint eu dinas. Efe a wyddai pa elyniaeth oedd y pryd hynny rhwng yr Alexandriaid ac Iuddewon y lle hwnnw; ac er cymmeryd yn esgus i oganu yn unig un math o Iuddewon, etto ei genfigen sydd yn cyrraedd hyd at yr holl bobl o'r enw hwnnw.

Gofynaf, pa fai a esyd efe, gyd â chymmaint o sarrugrwydd, ar Iuddewon Alexandria? Fe ddywed, mai pan ddaeth yr Iuddewon o Syria, iddynt gymmeryd i fynu eu preswylfeydd ar y cyffiniau o fewn cyrraedd i'r llanw, ond nid yn agos i borthladd lle y gallai llestr nofio. Onid yw efe i'w feïo am fychanu dinas mor odidog; pa ryw ddinas yr oedd yn ymffrostio (er nad mewn gwirionedd) ei fod yn lle ei enedigaeth. Canys y tiriogaeth hwnnw sydd ran o Alexandria, ac a ganiattëir ei fod yn gyfleus ei sefyllfa. Os cymmerodd yr Iuddewon trwy orfod feddiant o hono, ac yna a gadwasant y meddiant hwnnw, y maent i'w canmol am y weithred.

Ond y gwir yw, ddarfod rhoddi'r Iuddewon mewn meddiant o'r lle hwn gan Alexander Fawr, yr hwn a ganiattaodd ragorfreintiau cydraddol iddynt â'r Macedoniaid. Pa beth a ddywedasai Apion, os, yn lle eu sefydlu yn y ddinas hon, ddarfod caniattau iddynt drigfa yn Necropolis, fel pe galwasid eu llwythau yn Facedoniaid hyd heddyw. Y mae'n ammheuaeth pa un a ddarllenodd Apion erioed epistolau Alexander, Ptolemy, mab Lagus, a'i ddilynyddion brenhinoedd yr Aipht; gyd â'r ysgrifen a argraphwyd ar y colofnau yn Alexandria, trwy orchymmyn Cæsar, i goffau y rhagorfreintiau a ganiattasai i'r Iuddewon. Os darllenodd hwynt, y mae'n rhaid mai dyn drwg ydyw wrth anwirio ei wybodaeth ei hun; os na ddarfu, efe ar unwaith a fradychodd ei falais â'i anwybodaeth.

Nid yw ddim llai ei gam-gymmeriad trwy y rhyfeddod a ddengys wrth fod yr Iuddewon wedi cymmeryd arnynt yr enw o Alexandriaid. Peth cyffredin i drefedigion ydyw cymmeryd eu henwau oddiwrth leoedd eu sefydliad, o'r hyn y mae gennym amrywiol siamplau. Iuddewon Antioch a ddygant yr enw o Antiochiaid, wedi i'r brenin Seleucus wneud eu hynafiaid yn wŷr rhyddion o'r ddinas honno. Yr Iuddewon o Ephesus a elwir yn Ephesiaid; ac Ioniaid a elwir y rhai o Ionia. Ffafriou o'r fath yma a ganiattaodd Rhufain i genedlaethau cyfain, yn gystal a phersonau neillduol: pa fodd amgen y digwyddodd i'r enw o Rufeiniaid gael ei roddi i'r Ibberiaid gynt, y Tusciaid, a'r Sabiniaid? Y mae Apion yn anewyllysgar i ganiattau y fraint yma i eraill, ac etto efe a eilw ei hun yn Alexandriad. Wrth y rheol hon, ni ddylai neb a anwyd yn yr Aipht gymmeryd arno yr enw o Alecsandriad; canys yr Aiphtiaid o bob pobl, a ommeddir y rhyddid hwn iddynt gan y Rhufeiniaid. Ond trwy fod ein hysgrifenwr maleisus yn analluog i gyfiawnhau ei hawl ei hunan i'r rhagorfraint hon, fe ddiystyra y rhai sydd â chanddynt gyfiawn deitl iddi.

Alexander a wnaeth dderbyniad o gynorthwy'r Iuddewon yn adeiladaeth y ddinas hon; nid am fod arno eisiau dwylo; ond ei fod yn ewyllysio dangos ei ymorphwysiad ar eu ffyddlondeb a'u gwirionedd. Hecateus a ddywed fod gan Alexander y fath barch i gyfreithlonrwydd a chymmedroldeb yr Iuddewon, a rhoddi o hono iddynt dalaith Samaria yn rhydd oddiwrth drethiad, heblaw pethau boddlongar eraill.

Ptolemy, mab Lagus, a ddilynodd Alexander, ac ni fu llai cymmeradwy ganddo Iuddewon Alexandria, i ofal pa rai y rhoddodd holl amddiffynfeydd yr Aipht; ac a sefydlodd drefedigion o'r bobl hyn yn Cyrene, a dinasoedd eraill yn Lybia, er chwanegu ei ddiogelwch.

Y Ptolemy hwn a ddilynwyd gan Ptolemy Philadelphus, yr hwn a ryddhaodd yr holl garcharorion Iuddewig yn y wlad, a faddeuodd eu trethi a'u dyledion eraill; ac ydoedd mor awyddus i gael ei addysgu yn ein cyfreithiau a'u defodau, ac yn yr ysgrythyrau sanctaidd, ag iddo ddeisyf cael dehonlwyr i egluro'r matterion hyn iddo. Fel na chollid dim amser yn y fath waith fe'i gorchymynwyd i ofal Demetrius Phalereus,

yr hwn oedd ragorol am ei wybodaeth a'i onestrwydd, ac i Andreus ac Aristeas, cadbeniaid gwarchawdlu'r brenin. Yn awr y mae'n afresymmol meddwl y gallai'r parchedigaeth hwn i ddefodau a chyfreithiau'r Iuddewon hanffodi, heb gyffelyb barch i'w hynafiaid. Ond rhaid bod Apion yn anadnabyddus â'r rhan yma o hanesiad, os na wyddai fod yr holl frenhinoedd Macedoniaidd yn ffafru'r Iuddewon.

Ptolemy, yr hwn a enwid hefyd Euergetes, wedi darostwng Syria, ni addolodd dduwiau'r Aiphtiaid i gydnabod ei fuddugoliaeth: ond a aberthodd yn ol arfer yr Iuddewon, ac a ddychwelodd ddiolchgarwch i Dduw yn nheml Jerusalem.

Holl bwysau y llywodraeth a roddasid gan Ptolemy Philometer, a'r frenhines Cleopatra, yn nwylaw dau Iuddew, Onias a Dositheus. Apion a gais feio eu hymddygiad, pan yr oedd ei ddiolchgarwch yn ddyledus iddynt am waredu Alexandria, o ba un yr oedd efe yn cymmeryd arno fod yn ddinesydd. Canys pan gymmerodd wrthryfel le yn yr Aipht, a'r dref yn agos a myned yngholl, uniawnwyd y cwbl trwy waith y ddau Iuddew hyn. Apion a ddywed, ddarfod yn fuan ar ol hyn i Apion fyned i mewn yno gydâ byddin fechan, pan oedd Thermus, y cenhadwr Rhufeinig, yn bresenol: ond ni chrybwylla ymhellach am y mater hwn, er bod yr ymdrech heb ammeu yn dra hynod.

Ptolemy Philometer a ddilynwyd gan ei fab Ptolemy Phiscon, yr hwn a wnaeth ymgyrch o Cyrene, i yrru Cleopatra, a meibion y brenin o'r Aipht, a chymmeryd y llywodraeth iddo ei hun. Ar yr achos hwn y gwnaeth Onias ryfel yn erbyn Phiscon, o blaid Cleopatra, er amddiffyn yr achos brenhinol ar bob cyfrif: ond ni ddigwyddodd arwydd mwy neillduol o allu a chyfiawnder dwyfol nag ar yr achos hwn: canys a Ptolemy yn barod i ymgyssylltu mewn brwydr agOnias, fe orchymynodd fod i Iuddewon Alexandria, o bob rhyw ac oedran, gael eu diosg o'u gwisgoedd, eu rhwymo, a'u taflu i'r elephantiaid, fel y mathrid hwy i farwolaeth: ond yn dra annisgwyladwy, ni chyffyrddodd yr elephantiaid â'r Iuddewon, ond hwy ddifethasant nifer o gyfeillion goreu Ptolemy; i ba un, yn y cyfamser, yr ymddangosodd llun dychrynllyd, yn gorchymmyn iddo beidio erlid yr Iuddewon. Gordderchwraig Ptolemy hefyd a ddeisyfodd yr un peth; â'r hyn y darfu iddo nid yn unig gydsynio, ond a fu edifar ganddo yr holl greulondeb a wnaethai, neu a fwriadasai ei wneuthur. Y weithred hon a wyddis mor dda am dani, fel y cedwir gwyl flynyddol yn Alexandria gan yr Iuddewon, o goffadwriaeth am eu hymwared hwn: etto y fath yw gwrthnaws Apion at bob addefiad haelionus, fel y mae yn beïo ar yr Iuddewon am ymrwymo yn y rhyfel hwn yn erbyn Phiscon, pan ddylasai ganmol yr ystyriaeth o gyfiawnder ag oedd yn eu cymmell iddo.

Y Cleopatra ddiweddaf, yr hon a deyrnasodd yn Alexandria, a ganmolir gan Apion, ar gyfrif ei hanniolchgarwch i'r Iuddewon, yn lle gwaradwyddo aflendid ei buchedd a'i hymddygiad; ei hanffyddlondeb i'r goreu o wŷr, ei bradwriaeth i'r Rhufeidiaid, a'i chymmwynaswyr ymerodraethol: bod yn achos o ddodi ei chwaer ddiniwed Arsinoe i farwolaeth yn y deml: mwrddrad bradwriaethus ei brawd: yspeilio temlau o'r duwiau, a beddrodau ei hynafiaid: a'i gwaith yn gwrthryfela yn erbyn mab mabwysiadol y Cæsar cyntaf, o haelioni pa un y derbyniasai ei theyrnas. Ac nid hyn yw'r cwbl: Wedi ei hudo a'i reibio gan Cleopatra, Antony a ddaeth yn fradychwr i'w gyfeillion ac i'w wlad: hi ddiorseddodd rai tywysogion, ac a wnaeth eraill yn offerynau i genhedlu a thaenu eu drwg-weithredoedd.

Bydd yn gymmwys nodi yma ar ymddygiadau gwael a dianrhydeddu, y Cleopatra hon; pa un ym mrwydr arforawl Artium, a adawodd hyd yn oed ei hanwylyd Antony, (yr hwn oedd dad amryw o'i phlant), yr hwn a wnaeth hi i fforffetio ei anrhydedd, gadael ei fyddin, a'i dilyn hi. Pa ymddygiad ydoedd fwy teilwng o'i feio? Wedi i Cæsar gymmeryd Alexandria, ei chynddaredd ydoedd mor fawr, ag i ymfalchio yn ei chreulondeb, gan dybied pe gallasai ladd yr holl Iuddewon â'i dwylaw i hun, y talai hynny iddi am y golled o'r ddinas. Os, fel y sonia Apion, gwrthodwyd ŷd i'r Iuddewon yn amser y diweddar newyn, gan Cleopatra, ni allai'r ysgrifenwr gael un rheswm i osod hynny fel anair arnom ni. Ond drwg-weithredoedd Cleopatra a wrthodwyd.

Yr Iuddewon, i gyfiawahau eu hunain, a all-

ant apelio at yr Ymerawdwr, at dystiolaethau Augustus Cæsar, a gorchymynion cyhoeddus y senedd yn Rhufain; y rhai a gyd-dystiolaetha am y ffyddlondeb a ddangosasant bob amser i'r ymerodraeth, yn enwedig yn rhyfel yr Aipht. Y siamplau hyn a ddylasai Apion eu hystyried, os oedd yn amcanu gwneud cyfiawnder â'r Iuddewon. Dylasai gymmeryd barn Alexander, y Ptolomeaid, a holl ymerawdwyr y Rhufeiniaid, yn gystal a'r Senedd. Yr achos na allai Germanicus ddiwallu yr holl Alexandriaid ag ŷd, ydoedd i'w gyfrif i dymmor o brinder, ac nid i un bai o eiddo'r Iuddewon. Ewyllys da yr Ymerawdwyr at Iuddewon Alexandria ni amheuwyd un amser. Gweuith a ganiattaid iddynt yn gyffredin gyd â'u cymmydogion: yr oedd hyder mawr ynddynt bob amser; a chanddynt awdurdod ar yr afon, a lleoedd pwysig eraill o dramwyad. Mewn gwirionedd, fe hyderid arnynt yn fwy na dim pobl eraill, mewn sefyllfaoedd ac achosion o bwys a chanlyniad.

Apion a ofyn, os yw yr Iuddewon yn ddinasyddion o Alexandria, pa ham na baent yn arddel yr un grefydd, ac yn addoli yr un duwiau a'u cyd-ddinasyddion? I atteb ei ofyniad ag un arall o'r cyffelyb, Pa fodd y digwydd fod yr Aiphtiaid yn amrywio yn eu barnau ymherthynas i'r drefn o addoli? A amheuwn mai dynion ydynt, o herwydd eu bod, yn wrthwyneb i nattur, yn maethu ac yn dwyn i fynu anifeiliaid, ac yn eu haddoli hwynt. Yr Iuddewon i'r gwrthwyneb, a gyd-gordiant â'u gilydd. Yn awr, os yw yr Aiphtiaid yn ymrannu yn eu barnau, a ddylent hwy ryfeddu fod yr Iuddewon o Alexandria, y rhai a ddaethant o wlad arall, yn ymlynu wrth eu hen gyfreithiau, er eu bod yn hollol anhebyg i'r eiddynt hwy?

Apion a gyfrif yr holl bleidiau yn y llywodraeth i'r ymrysonau ymherthynas i faterion crefydd rhwng Iuddewon Alexandria, a'r hen drigolion. Pe byddai hyn yn wir ymherthynas i'r Iuddewon hynny, paham na byddai felly gyd ar holl Iuddewon mewn mannau eraill: yn gymmaint a pha le bynnag yr ŷm yn wasgaredig, y mae cydymffurfiad yn ein hymarferiadau? Y rhai a ddaliant sulw ar natur y cynnyrfiadau hyn, a ddeallant eu bod wedi tarddu oddi wrth bersonau o'r un duedd ag Apion, gan ddarfod i'r Iuddewon, tra'r oedd y Groegiaid a'r Macedoniaid yn aros yn y ddinas hon, arfer eu crefydd heb dim aflonyddwch, a'r bobl yn gyffredin oedd yn byw mewn cydgordiad: pan wedi cynnyddu o'r Aiphtiaid, yr amserau a dyfodd yn fwy terfysglyd. Yr Iuddewon, ym mhob cyfnewidiau, oeddynt yn aros yr un: tra'r oedd eraill, â llai cysondeb ynddynt na'r Macedoniaid, ac a llai o gallineb na'r Groegiaid, yn gwneuthur yr holl derfysg: trwy eu bod eisoes wedi eu rhag-gythruddo trwy'r casineb oedd ganddynt i'r Iuddewon, ac wedi eu hannogi hynny trwy ddrwg-siampl yr Aiphtiaid. Y bobl hyn, meddaf, oedd awdwyr ein hannhrefn: a nyni a feiir am gamweddau y bobl sydd yn ein cyhuddo. Nyni hefyd a drinir gan Apion fel dieithriaid, er yn ddiammeu ein dodi yn feddianol o holl freintiau gwyr-rhyddion, tra'r oedd ein gelynion yn dadlu eu bod yn ddinasyddion, heb gysgod o deitl i brofi hynny. Nid yw hanes yn hyspysu i ni fod tywysogion yr amserau gynt neu ymerawdwyr diweddarach, yn caniattau rhyddid i'r Aiphtiaid: pan mae Alexander fawr oedd yr un a ganiattaodd y ffafr honno gyntaf i ni, a'i ddawn ef a gyfrannwyd gan yr ymerawdwyr mewn amserau ar ol: ac wedi eu hamser hwynt, fe'i parhawyd, ac a'i cadarnhawyd gan y Rhufeiniaid.

Yr Iuddewon hefyd a feiwyd gan Apion am na osodasant i fynu luniau yn goffadwriaeth o'r ymerawdwyr, megis pe nas gallasant wneud sylw o'r amgylchiad hwn heb eu coffâu ganddo ef. Yn lle ein beio ni, dylasai yn hytrach ganmol y Rhufeiniaid am ganiattau i'w deiliaid fwynhau eu crefydd eu hunain, heb ofyn ganddynt y fath anrhydedd a'r nas gallent ei gwblhau yn gyttun â rhyddid eu cydwybodau. Gellir dywedyd, mai peth cyffredin ymhlith y Groegiaid, a phobl eraill, ydyw, cyfrif yn barchus luniau neu ddelwau eu rhieni, plant, gweinidogion, ac hyd yn oed dieithriaid: ac oni bydd i ogymaint parch gael ei ddangos i bennaethiaid? I hyn yr attebaf, fod yr achos gyd â ni yn wahanol, trwy roddi goruwch-barch i'n deddfwr, yr hwn a archodd yn bendant na wnaem ddefnydd o ddelwau, neu lun un creadur byw, neu bethau difywyd. Hyn ni allai wneuthur gyd â golwg i ddibrisio mawredd yr ymerodraeth Rufeinig, ond yn unig i wahardd darluniad corphorol o Dduw anweledig ac anamgyffredadwy. Ond ni wa-

herddir i ni berchi dynion da, yn nesaf at y Duwdod. Yr ydym yn gweddio tros bobl ac ymerawdwyr Rhufain; ac, ar gost gyffredin, yr ydym yn offrymmu beunyddiol aberthau tros eu llwyddiant: ond hyn ni wnawn tros ddim pobl eraill.

Apion a ddadleu yn erbyn uniondeb ein cyfreithiau, ein dull o addoli, a gwirionedd ein crefydd: ein bod wedi ein darostwng i sefyllfa o gaeth-wasanaeth, a gorthrymder; bod ein dinas, yr hon oedd gynt yn rhydd ac yn gadarn, yn awr tan ymostyngiad i'r Rhufeiniaid. Yr wyf yn gofyn, pa ryw bobl sydd yn alluog i ymryson â'r awdurdod Rufeinaidd? Pwy ond Apion a ymresyma fel pe byddai arglwyddiaeth yn dreftadaeth? Llywodraeth a darostyngedigaeth ydynt yn gyfnewidiol. Yr Aiphtiaid yn unig a honnant eu bod yn rhydd oddiwrth ufudd-dod i lywodraethwyr Ewrop ac Asia; a hyn a seilir ar ddiolchgarwch duwiau dieithr, y rhai a ffoesant i'w gwlad am gyssegrfa, ac a gymmerasant arnynt lun anifeiliaid. Pa mor wag yw hyn mewn pobl a fuont bob amser yn gaethion, gartref ac oddi cartref! Yr Aiphtiaid yn fynych a ymostyngasant i'r Persiaid, y rhai a ddinystriasant eu dinasoedd, a yspeiliasant eu temlau, a ddifethasant eu heilun-dduwiau, ac a wawdiasant eu crefydd. Ni ewyllysiwn ysgrifennu yn ol dull Apion, gan waradwyddo pobl ar gyfrif eu haflwyddiant. Y Lacedemoniaid oeddynt genedl ddewrion, a'r Atheniaid a wahaniaethid wrth eu crefydd: etto ni allai gwroldeb na chrefydd eu hymddiffyn oddiwrth gyfnewidiau rhyfel. Crœsus, un o'r goreu o frenhinoedd, ydoedd mewn amgylchiad tra blinderus: tŵr Athen, a themlau Ephesus a Delphi, a llawer o leoedd hynod eraill, a osodwyd yn lludw; ond drygioni gweithredoedd fel y rhai hyn a orphwys ar y rhai a'u gwnaent, nid y rhai a'u dioddefant: ond Apion a ddatguddiodd ffordd newydd o feïo, heb ystyried pa mor bell y perthynai i'r Aipht: ond yr ydoedd y pryd hwn mor wych o fod Sesostris yn frenin yr Aipht, fel na wyddai yn brin beth yr oedd yn ei ysgrifennu. Pe buasai'r Iuddewon yn dueddol i ymdderchafu, gallasent ymffrostio o'u brenhinoedd Dafydd a Solomon, ac adrodd hanes tywysogion a chenedlaethau a ddarostyngwyd trwy eu gwrolder. Yr Aiphtiaid gynt oeddynt gaeth-weision i'r Persiaid, a thywysogion eraill o Asia; ac yn ganlynol i'r Macedoniaid. Ar yr amser hynny yr oedd yr Iuddewon yn byw mewn rhyddid, ac yn awdurdodi ar y dinasoedd oedd yn gorwedd ar y cyffiniau, yn oed un cant ar ugain o flynyddau, hyd at amser Pompey y mwyaf. O'r diwedd wedi i'r Rhufeiniaid ddarostwng amryw deyrnasoedd a ymrysonasant â hwynt, hwy a ymddygasant at ein hynafiaid fel cyfeillion a chyngreirwyr, oddi ar yr ystyriaeth o'u ffyddlondeb a'u gwrolder: ond Apion a gymmer arno fod yn anhyspys o'r amgylchiadau hyn, y rhai mewn modd arall a adwaenid mor dda.

Yr ysgrifenwr hwn a esyd allan, mai pobl dywyll ac anwybodus ydym. "Nid oes gan yr Iuddewon (medd efe) ddim dynion yn eu mysg a wahaniaethir am gyfarwyddyd mewn celfyddyd, swyddau, neu'r ddoethineb angenrheidiol i lywodraethu megis Socrates, Zeno, Cleanthes, ac eraill." Apion a olyga ei hun fel yn ddyn o enwogrwydd, ac a fawrha Alexandria am fod yn perchen ar ddinesydd mor odidog. Ond ymddygiad Apion sydd mor llygredig, ac ammhurdeb ei fywyd mor fawr, fel nad yw Alexandria mewn un wedd i gynfigennu wrthi o feddu y fath ŵr rhydd ynddi. Ym'herthynas i'r ymryson rhwng y ddwy genedl, pa un o honynt a feddiana y dysgedigion pennaf, gall y darllenydd gael ei foddloni o ymgynghori â'n hynafiaethau. Am y gwarth sydd yn aros heb ei atteb, yr ydym yn cyfeirio at ysgrifenadau Apion, ag sydd yn cyhuddo yr Aiphtiaid eraill yn gystal ag efe ei hun.

Y mae'n cymmeryd arno dramgwyddo yn fawr wrth ein defodol aberthiad o anifeiliaid, a'n harfer o ymgadw oddiwrth ymborthi ar gig moch, ac yn hollol wawdio ein defod o enwaedu. Ym'herthynas i ladd anifeiliaid, fe'i harferir gan y byd yn gyffredinol yn gystal a ninnau. Ac mewn perthynas i'n haberthau, y mae'n anocheladwy yn egluro ei hun yn Aiphtiad; canys ni wrthddadleuai un o'r Groegiaid neu'r Macedoniaid yn erbyn yr arferiad hwn, gan eu bod hwy yn aberthu cannoedd cyfan o anifeiliaid i'w duwiau: ac nid oes yn hyn ddim perygl o ddifetha y rhywiogaethau, fel y crybwylla Apion: yn y gwrthwyneb, pe byddai arferiad yr Aipht yn gyffredinol, byddai ddynion yn llai aml na

bwystfilod gwylltion, canys y rhai hyn yw'r duwiau a addolir gan y bobl hynny.

Pe gofynid i Apion pa rai o'r Aiphtiaid a debygai fod y dynion goreu a doethaf; fe attebai, yn ddiammeu, mae yr offeiriaid, y rhai a erchir trwy draddodiad oddi wrth eu breuhinoed gynt, i addoli y duwiau, a chymhwyso eu hunain at astudio doethineb. Yn awr yr offeiriaid hyn a enwaedir, a ymarbedant oddi wrth gig moch, ac ni unant mewn aberthau gyd â'r Aiphtiaid eraill. Felly Apion, yn lle boddio yr Aiphtiaid, wrth ein hammherchi ni, a ddarfu iddo yn hytrach eu gwarthruddo trwy gyhuddiad anghyfeiriol o arfer y seremoniau y mae'n eu beio ar yr Iuddewon. Herodotus a ddywed, eu bod hefyd yn cynghori ac yn annog i enwaedu: ac fe ymddengys i mi i Apion yn gyfiawn gael ei gospi am ei ffyrnigrwydd yn erbyn cyfreithiau ei wlad. Wedi ei anog i enwaedu arno, y briw a bydrodd, ac efe a fu farw tan arteithiau na ellid eu discrifio. Bydded hyn yn rhybudd i'r rhai, fel Apion, a f'o'n llysu dyledswyddau da, ac yn defnyddio eu cymmwysiadau i ammherchi eraill. Y modd hwn y diweddodd bywyd Apion; ac yn awr mi dynnaf at ddiweddiad y llyfr hwn.

Ond gan fod Apolonius Molon, Lysimachus, ac ysgrifenwyr eraill, gyd â'r rhyfyg mwyaf, wedi goganu ein deddf-roddwr Moses, yr hwn y maent hwy yn ei osod allan fel twyllwr, ac fel swynwr neu ddewin; gan ddarlunio ei gyfreithiau megis â thuedd niweidiol ynddynt; fe allai na fydd yn ammhriodol i roddi peth hanes neillduol o'n hymarweddiad a'n llywodraeth; ac yr wyf yn gobeithio ei wneud yn amlwg fod y cyfreithiau a fforfiwyd gan Moses yn rhagori ar bob rhai eraill, yn eu tueddiad i chwanegu at ddaioni holl ddynolryw, trwy ddyrchafu duwioldeb, cyfiawnder, caredigrwydd, diwidrwydd, a phob rhinweddau eraill, hyd yn oed y rhai a dywysant i ddiystyrwch o angau: chwanegaf, na luniwyd cyfreithiau mor dda erioed, pe iawn ystyrid hwynt. Nid fy niben yw moli ein hynafiaid, ond i sicrhau'r gwirionedd yn wrthwyneb i bob cabledd.

Nid yw Apollonius, fel Apion, yn ein hammherchi mewn traethiad rheolaidd; ond a gais bob achlysur i'n cam-ddarlunio: ar un tro fe haera ein bod oll yn atheistiaid, ac yn wrthwyneb i Ddow a dyn: yna fe'n cyfrifa yn rhai llwfr a gwan-galon, a'r cyhuddiad nesaf yn ein herbyn a fydd, ein bod yn rhyfygus, yn ynfydion, ac yn fwy diddeall na'r barbariaid anllythrenog; canys ni fu'r Iuddewon, medd efe, erioed yn awdwyr un gelfyddyd er lleshad i ddynolryw. Yn awr yr adroddiadau maleisus hyn a wrthddywedir ar unwaith trwy edrychiad yn ol ar y cyfreithiau gan ba rai i'n llywodraethir, a'r rheoledigaeth trwy ba un yr ydym yn cydffurfio ein bywydau â'r cyfreithiau hynny. Os cymmhellir ni, gan hynny, mewn ffordd o gyfiawnhau ein hunain, i ddiorchuddio beïau gosodedigaethau gwladol eraill, y rhai a'n cynhyrfodd i wneud y cydmariaeth, a raid iddynt foddloni â'r atgasrwydd ag y mae ein hunain amddiffyniad yn ei beri yn angenrheidiol.

Yn yr achos hwn dau beth pennaf sydd i'w hystyried. Yn y lle cyntaf, pa un a ydyw ein cyfreithiau o werth ynddynt eu hunain; ac yn yr ail, pa un a ydym ni yn manwl sylwi arnynt. Os gwedir y cyntaf, gallwn yn hawdd brofi'r gwirionedd o hono trwy gasgliadau allan o'n cyfreithiau; a'r ail bwngc sydd mor amlwg na rydd le i un amheuaeth. Ond ystyriwn y mater hwn ymhellach. Mae'n ddiddadl eu bod hwy, y rhai, trwy amcan daionus a luniasant gyntaf ein cyfreithiau er chwanegu trefn dda, i'w perchi yn fwy, na'r rhai sydd yn byw yn wrthwyneb i bob rheol; er bostio o honynt eu hynafiaeth; a'n bod yn awyddus i ddysgu eraill pa fodd i weithredu, yn hytrach na dilyn gweithredoedd da eu hunain. Hyn a ganiatteir, ac y mae yn ddyledswydd ar ddarlunwyr cyfraith, i osod allan y fath gyfreithiau ag a brofo eu defnyddioldeb trwy chwanegu at y lles cyffredin: ac os amgen, y mae'n ddyledswydd ar y bobl i lynu wrth y cyfryw gyfreithiau yn wyneb peryglon a digalondid. Yn y pwngc o hynafiaeth, ein deddfwr ni sydd a chanddo yn ddiddadl y rhagoriaeth ar eraill. Canys Lycurgus, Solon, Zaleucus o Locris, a'r Groegiaid godidoccaf, a ymffrostir gymmaint o'u plegid, nid ydynt ond diweddariaid mewn cydmariaeth i Moses. Mewn amserau gynt yr oedd cyfraith yn enw na chlybuwyd am dano, ac hyd yn oed Homer oedd yn ddiffygiol o air wrth ba un y gellid ei harwyddo. Yn yr amserau hynny ni lywodraethid y bobl wrth un

gyfraith ysgrifenedig, ond wrth orchymmyn pendant brenhinoedd, y rhai a anfonent allan eu cyhoeddiad fel y byddai'r achos yn gofyn. Hyd yn oed ei wrthwynebwyr a gydnabyddant y blaenoriaeth i'n deddf-roddwr, yr hwn a roddodd brawf hynod o'i gymmwysderau mewn cyngor a llywodraeth. Efe yn gyntaf a gyfansoddodd gorph o gyfreithiau, âg addasrwydd rhyfedd i ynddynt i reoli bywydau dynion: ac yna cafodd gan y bobl eu derbyn, ac addaw talu ufudd-dod iddynt. Ond ymddygiadau y gŵr hwn yw'r dystiolaeth oreu o'i deilyngdod.

Pan gychwynodd amryw filoedd o'n hynafiaid allan o'r Aipht, tu a'r wlad a addawsai Duw iddynt, trwy ddiffeithwch tywodlyd ag oedd yn amddifad o ddwfr, ac a fynych ymosodwyd arnynt gan elynion, yn erbyn pa rai yr oeddynt yn gorfod amddiffyn eu hunain a'u teuluoedd; ein deddf-roddwr mawr oedd gyfarwyddwr iddynt trwy bob anhawsderau: gan weithredu ar unwaith fel cadflaenor, cynghorwr, ac amddiffynwr. Ei gymmedroldeb ydoedd mor hynod, er bod y dyrfa i gyd yn hollol tan ei awdurdod, ni wnaeth un amser, yn y mesur lleiaf, ddefnydd afresymol o'r awdurdod a osodasid iddo: ac ar yr amserau y mynnai eraill draws-ormesu, neu weithredu yn afreolaidd, Moses a wnaeth yn bwngc iddo i rodio yn ofn Duw; a thrwy ei siampl fe annogodd eraill i weithredu yn dduwiol, ac i ymarfer moesoldeb, megis yr hyn a dueddai yn fwyaf i'w dedwyddwch; ac a ddefnyddiodd bob digwyddiadau er eu lleshad.

Ym mhob peth Moses a ddilynodd orchymmynion Duw, gan fod yn sicr ei fod y pryd hynny yn gweithredu yn gyfiawn; ac efe a ymdrechodd i hyfforddi yr un ymddygiad yn eraill. Nid oes dim yn croesi gweithred afreolus yn fwy effeithiol, nag ystyried ein bod bob amser tan sulw y Duw holl-weledig. Nid oedd ein deddfwr mewn un modd yn arfer dewiniaeth fel y daugoswyd g n rai, ond yn hytrach a debygodd i Minas; ac eraill a ddywedir eu bod ym mhlith y Groegiaid, i Jupiter, eraill i Apollo neu'r attebfa Delphiaidd. Pa un a ydoedd awdwyr yr hanesion hyn yn eu credu, sydd yn ammheus: ond rhagoroldeb y cyfreithiau a wybyddir yn oreu wrth gydmariaeth, yr hyn a awn rhagom yn awr i'w wneuthur. Gwahanol genhedloedd sydd â chanddynt eu gwahanol gyfreithiau, a'u dull o lywodraethau. Personau unigol sydd a threfniad rhai llywodraethau ganddynt; amryw bersonau ynghyd â'r lleill: ond ein deddfwr ni a gadwodd oddiwrth bob un o'r eithafoedd hyn; ac a ffurfiodd yr hyn a enwai efe yn wladwriaeth ddwyfol, ar ba un yr oedd Duw yn ben, yr hwn sydd i'w addoli fel cyfranwr pob daioni, a ffynhonnell pob awdurdod. Atto ef yr ydym yn myned ym mhob cyfyngder, efe a wrendy ein gweddiau, ac a ŵyr ein meddyliau dirgelaf. Moses a draddododd yr athrawiaeth o un Duw, digreuedig, tragywyddol, anghyfnewidiol, anfeidrol ogoneddus, anamgyffredadwy, ond yn unig trwy ei weithredoedd. Nid yw hyn yn anghyttuno yn fawr â'r hyn a ddarfu i'r enwog philosophyddion Groegaidd ei ddatguddio yn unig trwy oleuni natur: canys y maent yn uno mewn tybiau am fawrhydi ac ardderchowgrwydd y Duwdod. Pythagoras, Anexagoras, Plato, a'r Stoiciaid, ydynt ynghylch o'r un farn ar y mater hwn: ond fel yr oedd y bobl yn gyffredin wedi eu rhagfeddiannu, mewn dull coel-grefyddol, â meddyliau hollol wrthwyneb i hyn, ni allai'r philosophyddion arferyd eu rhydd-did eu hunain i'w cyhoeddi hwynt. Ein deddfwr a ragorodd trwy wneuthur ei ddeddfau yn rheol i'w ymarweddiad, yr hyn a sefydlodd yr oes bresennol, ac a gadarnha yr oesau sydd i ddyfod mewn crediniaeth o'r gwirioneddau a draddododd efe. Fe'i gwnaeth yn rheol iddo, i'r lles cyffredin fod yn ddiben yr holl gyfreithiau a osodai mewn coffadwriaeth. Dysgodd yn wastadol, fod addoli Duw yn rhan o ddyledswydd dyn da; a bod y rhan arall yn gynnwysedig mewn hyder diysgog, cyfiawnder, a haelioni. Ei ddeddfau y modd hwn oedd yn tueddu i gynyddu duwioldeb, a chwanegu gogoniant Duw, yr hyn oedd ei ofal pennaf.

Mewn perthynas i grefydd, ac ymddygiad moesol, fe unodd hanes ag ymarferiad â'u gilydd, yn yr hyn y mae deddfwyr eraill yn gyffredin yn ddiffygiol. Y Lacedæmoniaid a'r Cretiaid a hyfforddid mewn moesoldeb, er nad yn rheolaidd; tra'r oedd yr Atheniaid, a'r rhan fwyaf o Roegiaid eraill, a chanddynt gyfreithiau perthynol i bob achos, i'r rhai yn fynych y talent rhŷ fach o ufudd-dod. Ein deddfwr a ofalodd am wellhad ein moesau, tra y rhoddai

gyfreithiau ysgrifenedig i weithredu ar bob achosion pwysig. Mae'n rhoddi cyfarwyddyd pa ymborth a ddylem ei fwytta, a pha beth i ymgadw rhagddo; a chyd â pha rai y dylem gymmeryd ein lluniaeth; ac yn gorchymmyn fod i bawb, yn ddiwahan, ganlyn yr un rheol. Mae yn iawn drefnu ein llafur a'n gorphwysfa, fel y gallo pob un wybod ei ddyledswydd: yr ydym yn ystyried y gyfraith fel gorchymmyn gan feistr, ac yn gwybod y bydd i droseddwyr gwirfoddol gael eu cospi. Os gwrthwynebwn ein cyfreithiau yr ydym yn anesgusodol: canys yr ydym nid yn unig i wrando eu darllen unwaith neu ddwywaith, ond fe orchymmynir yn bendant i ni ymneillduo oddiwrth bob gorchwyl arall, ac ymgynnull yn wythnosol yn dyrfa lluosog, i wrando ar ddarllen y gyfraith, a'i chadw mewn coffadwriaeth; yr hyn ni orchymmynid gan neb rhyw ddeddfwyr eraill. Dynion yn gyffredin ydynt mor bell oddiwrth gydymffurfio â chyfreithiau eu gwlad, a'u bod yn anadnabyddus o honynt; ac wedi troseddu, gofynant pa gyfraith a dorrasant. Dyma fel y mae'r achos yn bod hyd yn oed gyd â rhai boneddigaidd; y rhai a gyfaddefant eu hanwybodaeth trwy ofyn cyngor y cyfreithwyr: ond ein pobl ni a ddeallant y cyfreithiau mor barod a'u henwau, wedi darfod eu dysgu iddynt o'u mebyd boreuaf. Fel hynny trwy wybod y delir ac y cospir hwynt, y maent yn fwy gochelgar i droseddu.

Oddiwrth hyn y cyfyd ein bod ni mor unol yn ein barnau. Yr ydym yn cynnwys yr un meddyliau am Dduw. Ein haddoliad, ein bucheddau, a'n hymddygiadau sydd yr un. Fel hyn yr ydym yn gwahaniaethu oddiwrth bob pobl eraill, y rhai a gynhwysant amryw dybiau am yr un Duw. Fel hyn y mae'n bod nid yn unig gyd â'r werin, y rhai a siaradant ar eu cyfer; ond hefyd gyd â'r philosophyddion, o ba rai amryw a wadant ddwyfoldeb y Duwdod, eraill ei ragluniaeth, trwy grybwyll am gydraddoliaeth pob dynion, y rhai a ddylent gyd-feddiannu pob peth yn gyffredin. Yn y gwrthwyneb, nyni a ddywedwn fod pob peth yn cael eu trefnu gan Dduw, ac y dylai ein holl fywydau fod wedi eu cyssegru i'w wasanaeth ef; ac hyd yn oed ein gwragedd a'n plant a feddiennir â'r un egwyddorion.

Dymunwn yn awr sylwi ar y diystyrwch a roddir arnom, trwy fod yn ddi-lafur, ac yn wag o gywreinrwydd mewn celfyddyd a dysgeidiaeth. Yr ydym yn ei wneuthur yn bwngc o gydwybod, i lynu, ym mhob peth, wrth yr hyn a sefydlwyd mewn amserau gynt, gan olygu eu hynafiaeth fel arwydd o'u rhinwedd; ac na fydd i amser na gwrthresymau eu dilëu hwynt. Y rhai ydynt yn credu dwyfol awdurdod ein cyfreithiau, a olygant eu hunain yn rhwym i'w cyfrif yn gyssegredig. Pwy a ryfyga symmud y sylfeini a osodwyd gan Dduw? neu a gynnyg eu gwellhau â chymmysg o gyfreithiau llywodraethau eraill? A ddichon un gosodiad fod mor gadarn, a'r un hynny ag y mae Brenin y brenhinoedd yn awdwr o hono? Ein hoffeiriaid a gymhwysir i'w perthynol wasanaeth, ac sydd oll yn ddarostyngedig i awdurdod yr arch-offeiriad. Ni ddarfu i'n deddfwr eu dyrchafu hwynt i foddhau eu hawydd-chwant, neu chanegu eu cymmeradwyaeth; ond oblegid iddynt roddi prawf o'u duwioldeb, doethineb, a'u cymmedroldeb; a gofal crefydd ac addoliad Duw a orchymmynir iddynt hwy. Y maent yn farnwyr mewn ymrysoniadau personol, ac â chanddynt awdurdod i gospi y gormeswr. Pa ryw ffurf o lywodraeth a ddichon fod yn gyfiawnach na'r eiddom ni? Pa fodd y gallwn anrhydeddu y Duwdod yn fwy, na thrwy gyssegru ein bywydau i'w wasanaeth tan gyfarwyddyd ei offeiriaid? Y fraint oruchel o gyflawni ein defosiynau a wna i bob dydd ymddangos megis yn ŵyl i ni. Pobl eraill a flinir âg offrymiad eu haberthau tros ychydig ddyddiau yn unig: etto'r ydym ni yn wastad yn ddedwydd yn y cyflawniad o'n dyledswyddau, er bod cynnifer o oesoedd wedi myned heibio ar ol eu gosodiad cyntaf.

Un o'r pyngciau a addefir yn bennaf yn ein crefydd ni ydyw, fod Duw oll yn oll; hunanddigonol, dedwydd, perffaith, dechreuad, canol, a diwedd pob peth; fod ei holl weithredoedd yn ogoneddus; ei allu a'i fawredd yn amlwg ac yn anamgyffredadwy; na's gall dyn draethu na dychymygu dim cyffelyb i'r Dwyfol Fawrhydi; ei fod yn dra rhyfedd yn ei holl briodoliaethau; a chan mai Yspryd yw, ei fod yn anweledig. Ond fe ganiatteir i ni fyfyrio arno yn ei weithredoedd; megis y goleuni, y nef weledig, daear, haul, lleuad, afonydd, môr, anifeil-

iaid, planhigion, &c. Yr holl rai hyn a grewyd gan Dduw, heb lafur ac heb gynnorthwy. Effaith ei ewyllys ef ydynt, a chreaduriaid ei orchymmyn, pa ryw nerthol orchymmyn neu air a roddodd fod i bob creadur, ac a'u cyhoedddodd oll yn dda. Yr ydym yn ymgais am addoli y Duw hollalluog hwn, mewn ymarferiad o rinwedd.

Fe ymddengys i ni, gan nad oes ond un Duw, ac un byd, na ddylai fod ond un deml; canys y mae'r Duwdod yn hoffi trefn ac undeb. Defosiynau beunyddiol a offrymmir yn y deml hon gan yr offeiriaid, y penaf o ba rai sydd yn cyflawni'r aberthau, yn gorchymmyn ufudd-dod dyledus i'r cyfreithiau, yn gwrando achosion, ac yn cospi torwyr y gyfraith. Yr ydym yn cyfrif nad yw apelio oddiwrth farn Duw yn fwy beïus na dadleu yn erbyn awdurdod yr offeiriaid.

Pan ydym yn bwytta cig yr aberthau, yr ydym yn ofalus rhag meithrin glythineb; gan ystyried fod Duw yn caru sobrwydd a chymmedroldeb, ac yn elyn i bob afradlonrwydd. Y weddi gyntaf a offrymma'r offeiriad sydd tros ddedwyddwch cyffredinol holl ddynol ryw; yna pob un, fel rhan o'r cwbl, a weddïa trosto ei hun; canys fe'n haddysgir fod cydgaredigrwydd ac ewyllys da i'n gilydd yn dra boddlongar gan Dduw. Yn ein gweddiau fe'n gwaherddir i ofyn am gyfoeth ac anrhydedd, a bendithion y bywyd hwn; gan fod y pethau hyn yn cael eu cyfrannu yn ddiwahan i bobl yn gyffredin: ond ein gweddi ni sydd am ras i iawn-ddefnyddio'r hyn yr ydym yn ei feddiannu.

Ffurfiau neillduol a drefnir i ni ym'herthynas i buredigaeth gwragedd, ac ar achosion eraill: hyn y mae'r gyfraith yn ei orchymmyn megis yn beth cymmeradwy gan Dduw; ac yr ydym yn ystyried Duw ei hun fel sylwedd y gyfraith. Priodas a raid ei chwblhau trwy gydsyniad y rhieni, heb dwyll na gorfod, er mwyn cenhedlu plant, heb olygu cynhysgaeth, neu foddloni chwant. Marwolaeth yw'r gosp o gyunyg cyflawni chwant mewn dull annaturiol.

Ein cyfraith a orchymmyn i'r wraig ym mhob peth fod yn ddarostyngedig i'w gŵr; nid i ganiattau i'r gŵr wrth hynny gam-ymddwyn tuag at y wraig, ond fel y rhodder lle i weddeidddra. Y wraig a orweddo gyd â dyn arall heblaw ei gŵr sydd i ddioddef marwolaeth; a'r un gospedigaeth sydd ddyledus i'r hwn a haloga forwyn wedi ei dyweddïo, neu a huda wraig briod, neu fam plant. Y mae'r gyfraith yn gydradd o'r llym at ferched a ddifetho neu a guddio eu plant ar ol eu geni, gan fod y weithred yn tueddu i ddiboblogi'r byd; ac yr ydym yn cyffesu fod yr enaid yn dioddef gyd â'r corph. Ar ol i ŵr gydio â merch, fe'i cyfrifir yn aflan; a gwraig, wedi'r fath gydiad â'i gŵr, sydd i ymolchi ei hun, i ba ddefnydd y cedwir dwfr puredigreth yn wastadol wrth law; canys yr ydym yn credu fod, yn yr amgylchiad hwn, cymmundeb tra agos rhwng corph ac enaid.

Y mae'n cyfraith yn anghyttuno â gwledda ar enedigaeth plant, pan y bwriedir eu dwyn i fynu mewn sobrwydd, a rhag i'r fath ymarfer dueddu i anghymmedroldeb. Plant ydynt i'w haddysgu mewn gwybodaeth o'r gyfraith a hanes, i'w cynhyrfu â chefnogrwydd i ddilyn siamplau enwog, ac i'w meddiannu ag iawn ystyriaeth o'u dyledswydd.

Gofal a gymmerir i arfer cymmedroldeb mewn costau i gladdu'r meirw, ac i osod i fynu fedd-feini er eu coffadwriaeth; ond teuluoedd y rhai a fuont farw, a awdurdodir i gyflawni y ddefod gydâ gweddeidd-dra. Pobl yn gyffredin a adewir iddynt alaru tros y meirw; ond y teulu a gyfrifir yn ammhûr, ydynt i aros o hirbell; ac ar ol yr angladd y tŷ sydd i gael ei buro. Yn yr achos o lofruddiad gwirfoddol, y gyfraith a gospa yn ol graddau y ddrwg-weithred.

Yn nesaf i'n dyledswydd at Dduw, fe orchymmynir i ni berchi ein rhieni; a'r rhai anufudd iddynt hwy i gael eu llabyddio i farwolaeth. Pobl ieuaingc ydynt i berchi hynafgwyr. Nid oes dim darn-guddio i fod rhwng cyfeillion, ond yr hyder mwyaf yn eu gilydd: ac os gwahanir y gyfeillach, nid ydym i ddatguddio cyfrinach blaenorol. Marwolaeth yw cosp y barnwr a dderbynio wobr. Gwaherddir i bob dynion gymmeryd eiddo eu cymmydogion, neu fenthycca eu harian ar log. Cymmaint a hyn am ein hachosion ymhlith ein gilydd. Bydd yn awr yn gymmwys i ystyried ein hymddygiad tuag at ddieithriaid; ac i ddangos i'n deddfwr ofalu am y lles cyffredin, trwy ein cadw yn ufudd i'n cyfreithiau, ac i estyn eu lleshad at

bawb a ddewisant eu cofleidio; canys yr ydym yn rhydd i dderbyn pobl o bob cenedl a gyttunant â ni yn egwyddorion cyffredin bywyd ac ymddygiad. Y rhai yn wir a ddeuant attom heb fwriadu uno â ni, ni chaniatteir iddynt gyfranogi o'n breintiau crefyddol; ond fe orchymmynir i ni wneuthur daioni iddynt, trwy eu diwallu â lluniaeth, tân, a dwfr; i roddi cynghorion da iddynt, a'u cynnorthwyo i gladdu eu meirw. Y rhai hyn a ystyriwn yn ddyledswyddau o ddynoliaeth yn unig.

Ein deddfwr hefyd a gyfarwydda, i gymmedroldeb gael ei arfer tu ag at ein gelynion; ac a orchymmyna i ni fod yn drugarog tu ag at garcharorion, yn enwedig y rhai o ryw fenywaidd. Ni chaniattai ddiosg gwisgoedd oddi am gyrph y rhai a syrthiant mewn brwydr. Mor fawr oedd ei awydd i annog pob math o drugarogrwydd, a'i fod yn cymmeradwyo'r arferiad o hono tu ag at y creaduriaid mudion, heb ganiattau pellach awdurdod arnynt na'u defnyddio wrth angenrhaid. Gorchymynir i ni arbed ein creaduriaid teuluaidd; ac ymherthynas i eraill, i beidio difetha y fam a'i chyw ynghyd. Gwaherddir ni hefyd i wneuthur niweid i anifeiliaid a fyddo yn llafurio.

Y cyfryw ydoedd osodedigaethau ein deddfroddwr i amddiffyn achos dynoliaeth, ac i gospi yn llym droseddwyr. Mewn amryw amgylchiadau, marwolaeth oedd y canlyniad o'r bai, megis godineb, trais, ac ymarferiadau annaturiol, ym mha achos y mae pob plaid yn cael eu bwrw yn euog i ddioddef; a'r gosp a gyrhaedda at gaeth a rhydd, ac at bob rhyw raddau o ddynion. Ein pwysau a'n mesurau a drefnir wrth gyfraith, pa un sydd yn gwahardd twyll wrth brynu a gwerthu, neu gymmeryd eiddo eraill i'w defnyddio gennym ein hunain. Y rhai a droseddent y modd hwn a gospid yn llymmach gan ein cyfreithiau ni nag eraill. Y rhai a gablant eu Duw, neu a waradwyddant eu rhieni, a fwrir yn ddioed i farw. Ni ddisgwylia ein pobl, am eu hufudd-dod i'r cyfreithiau hyn, y wobr o aur, arian, meini gwerthfawr, neu anrhydedd bydol, ond distaw gymmeradwyad cydwybod dda, a pherffaith obaith o anorphenol ddedwyddwch; yr hyn a sicrhaodd ein deddfwr ni o hono; a'r hyn a addawodd Duw i'r rhai a ufuddhant i'w gyfreithiau: ac yn yr hyder hwn y maent yn ystyried angau ei hun yn unig fel mynediad o fyd presennol i un a fyddo gwell.

Buaswn yn petruso dywedyd cymmaint a hyn, pe na byddai y gwir o hono yn ymddangos mor amlwg a'r haul, fel y profir oddiwrth hanes ein hynafiaid; y rhai a ddioddefasant yr arteithiau llymmaf, yn hytrach nag yngangyd gair er anghlod i'w proffes. Ond bwriwn fod yr Iuddewon yn bobl na chlybuwyd am danynt, ac na fyddai ddim tystion o'u parchedigaeth bob amser i'w cyfreithiau. Pa fath dybiau a ffurfiai'r Groegiaid, pe adroddid iddynt hwy, gan ryw un, hanes am bobl ddieithr mewn gwlad anadnabyddus, y rhai a lynasant mor fanwl wrth gyfreithiau a chrefydd eu hynafiaid, wedi i gynnifer o oesoedd fyned heibio! Oni fyddai i bobl mor ansefydlog yn eu mysg eu hunain ryfeddu wrth yr adroddiad?

Pa mor fawr y mae ysgrifenwyr diweddar, y rhai a draethant am lywodraeth, yn cael eu gwawdio am eu dychymygol ddarluniad anwneuthuradwy! Heb grybwyll am Philosophyddion eraill a 'sgrifenasant ar y mater hwn, y mae Plato, yr enwoccaf o'r Groegiaid, yr hwn oedd philosophydd mawr, ac yn ddyn hynod o ran ei ddoethineb a'i sobrwydd. Yn awr, y Plato hwn a ogenir ar chwareufwrdd cyhoeddus, gan gellwerwr anwybodus, am yr hyn a alwant hwy ei ffol ddychymygion o lywodraeth: etto ei 'sgrifenadau, ar fanwl ddarlleniad, a welir yn cyttuno â chyfraith natur a rheswm. Plato ei hun a ddywed, "Y mae'n beryglus i ddyn doeth adrodd ei feddyliau ymherthynas i Dduw, rhag cael ei watwor gan y werin. Y Groegiaid a ddywedant fod Plato yn ysgrifenu yn rhy ofer a chyd â gormod rhyddid; ond hwy a addefant fod Lycurgus yn gyfreithwr perffaith, oddiwrth y parch oedd ganddynt i barhad ei gyfreithiau. Yn awr os cyfaddefir fod y cyfreithiau yn well oblegid eu hynafiaeth, pa fodd y gall y Lacedemoniaid ymddadleu â ni yn cleimio oed ein cyfreithiau yn ddwy fil o flynyddau. Gallaf chwanegu na ddarfu i'r Lacedemoniaid dalu dim parch i'w cyfreithiau yn hwy nag y buont eu hunain yn aros mewn cyflwr o ryddid; ond hwy a adawsant eu cyfreithiau mor gynted ag y gadawyd hwythau gan ffortun.

Yn y gwrthwyneb, ni chiliodd ein pobl ni un amser oddiwrth ddefodau eu hynafiaid, er eu

holl flinderau yn Asia, pan ddarostyngid hwynt i'r trueni mwyaf; ac nid ymgyngorasant â'u hesmwythder yn amddiffyniad eu cyfreithiau: ychydig gydmariaeth a ddengys na fu gan y Lacedemoniaid y fath orchwyl caled yn gorwedd arnynt a'r Iuddewon. Ni ddarostyngwyd hwynt i lafur caled; ond a oeddynt yn aros yn eu dinasoedd mewn esmwythder, a chyfleusderau bywyd wedi eu trefnu yn barod iddynt. Eu gwaith pennaf oedd gynnwysedig mewn gwrthsefyll, yn achlysurol yn erbyn gelyn cyhoeddus. Hyd yn oed yn y gwasanaeth hwn hwy a fethant yn fynych, gan encilio yn rhifedi mawr o flaen y gelynion, rhoddi i lawr eu harfau, a threisio eu dyledswydd. Hyn ni ellir ei ddywedyd am yr Iuddewon. Ni allaf adgoffa ychwaneg na dau neu dri o'n gwŷr ni a wadasant eu hachos trwy ofn marwolaeth: nid wyf yn meddwl marwolaeth milwr ym maes yr ymladdfa, ond marwolaeth fyfyriol o greulondeb ac arteithiau. I'r cyfyngder hwn y bu llawer o'n pobl ni yn ddarostyngedig; nid, fel yr wyf yn sicr gredu, trwy falais, ond i brofi eu gwrolder, ac i weled a oeddynt yn fath ddynion ag a ymostyngai yn hytrach i'w rhwygo yn ddrylliau nag y treisient eu cyfreithiau ar air nac ar weithred.

Ac nid oes dim yn anarferol yn yr ymröad hwn o eiddo'r Iuddewon; canys ein dull cyffredin o fywiolaethu, a ymddengys yn anhawdd i bobl eraill; fy meddwl yw, ein llafur lluddedig, a'n hymborth tlawd, ein dyddiau o ympryd, gwisgiadau gwael, gorweddfeydd celyd, a'r cyffelyb amgylchiadau. Pa ddull yr ymddygai y Lacedæmoniaid yn eu bywyd milwraidd, os gorfyddai iddynt ymgadw oddiwrth rai bwydydd, a phethau mwynhaol eraill? Ein pobl ni, yn y gwrthwyneb, a ymogoneddant yn eu parhad a'u hymroddiad, ac yn eu dyfal ufudddod i'w cyfreithiau: oblegid hyn, y rhai cyffelyb i Lysimachus a Molon, ynghyd ag eraill a'sgrifenasant i lygru moesau ieuengtyd, a allant fyned ym mlaen i geisio ein gŵyrdroi yn y dull a ddewisont.

Yr ydym yn dewis yn hytrach ufuddhau i'n cyfreithiau ein hunain, nag ammherchi rhai o eiddo eraill. Yr oedd ein deddfwr mor ochelgar, ag na fynnai i ddim dirmyg gael ei gynnyg i dduwiau cenhedloedd eraill, gan berchi enw y Duwdod yn y radd uwchaf. Etto fe fyddai yn ammhriodol i ni aros yn ddiofal, pan fyddo yn angenrheidiol i ni ddistewi ein gelynion; a'r lle mewn gwirionedd, y mae'r gwaith yn gorwedd eisoes ar ein dwylaw. Yr holl wŷr doethion ymysg y Groegiaid, a ddywedant yn erbyn eu prydyddion a'u cyfreithwyr, am beri i'r cyffredin bobl gael eu meddiannu â dychymygion o'r fath nifer o dduwiau, ac estyn at y rhai hynny gynnifer ag a chwennychont, gan grybwyll am eu tarddiant yn ol eu hunan-dybiau, o un rhyw wlad neu oes: ant hefyd ymhellach, i adrodd am eu sefyllfa fel creaduriaid eraill: y mae ganddynt eu tan-ddaearol dduwiau, a'u môr-dduwiau; ac a ffugiant fod yr hynaf yn cael ei gadw mewn cadwynau yn uffern; Jupiter yw enw eu pen awyrol-dduw. Galwant ef yn dad, ond y maent yn ei gyfrif yn gweithredu fel gorthrymwr; ac yn dywedyd fod ei wraig, ei frawd, a merch ei ymennydd, yn cydfradwrio i'w ddifetha ef, fel y difethodd yntau ei dad. Pob gwŷr doethion a ddiystyrasant y chwedl-dduwiau hyn, ac a'u cyfrifasant yn y dirmyg a haeddent. Rhai o'r duwiau yma a gynddrychiolir fel plant, rhai megis yn eu hieuengctyd a'u gwrolder; eraill fel gwŷr oedrannus ac â barfau ganddynt. Mae iddynt dduwiau hefyd yn golygu tros gelfyddydwyr, megis gwehyddion, gofiaid, ac eraill; ac amddiffynwyr pererinion, gorchestwyr, saethyddion, a thelynorion. Maent yn dangos y duwiau mewn amrafael â'u gilydd, ac yn cymmeryd plaid dynion: yn eu hymrysonau hyn y maent yn cael eu harcholli, ac yn dihoeni tan eu clwyfau. Yr esgus-dduwiau a duwiesau hyn a arwyddant megis yn myned ym mlaen i ymgaredigo, mewn modd anghyfreithlon â meibion ac â merched. Hyd yn oed Jupiter, tad a thywysog eu duwiau, wedi halogi merched anianiol, ydoedd anallnog i'w cynnorthwyo; ond a alarai o herwydd eu hadfyd, trwy orfod o honynt ymostwng i dyghedfen anwrthwynebol.

Mae'n beth dieithr i'w ystyried pa fodd y gallai dynolryw gael eu darostwng i'r fath gamsyniadau erchyll ym'herthynas i'r Duwdod. Nis gallwn ei gyfrif ond yn unig i anwybodaeth rhoddwyr cyfraith ynghylch y natur ddwyfol; neu eu hesgeulustra wrth draddodi i'r byd y meddyliau a ffurfiasent am y pethau hyn, fel materion ag oeddynt hwy yn golygu ychydig o bwysau ynddynt. Fel hyn y poetau neu'r

prydyddion a'r areithwyr, a adawyd i ddychymmygu y fath dduwiau ag a welent yn oreu; a'u gosodedigaethau cyfrwysgall a gymmysgwyd â darluniadau gwageddus mewn perthynas i dduwiau dieithr, a choelgrefyddol addoliad.

Apollonius Molon a ellir ei gyfrif ym mhlith y nifer o ysgrifenwyr ofergoelus: ond y rhai hynny o'r Groegiaid ag a ellir yn gyfiawn eu cyfrif yn philosophyddion, ac a wyddant y gwir o'r hyn a goffëais; hwy a gynhwysant yr un tybiau am Dduw a ninneu, a'r un dirmyg ar chwedlau coelgrefyddol. Plato ydoedd â chanddo reswm i ballu rhyddid i'r poetau neu'r pryddion yn ei wladwriaeth: hyd yn oed Homer a ddanfonwyd ymaith, er mai gyd ag anrhydedd fel prydydd, rhag i'r iawn grefydd gael ei difetha gan yr un ofergoelus. Plato yn ei wladwriaeth oedd yn tebygu i Moses, yn ei orchymmyn i'w ddeiliaid i astudio'r cyfreithiau, eu cynnal mewn coffadwriaeth, a pheidio cymmysgu defodau diethriaid: ond cadw'r llywodraeth yn bur, a manwl ystyried gorchymynion pendant. Hyn a ymddengys gael ei anghofio gan Molon, pan ymesyd ar yr Iuddewon, am beidio cydgymdeithasu â dynion o wahanol farnau, fel pe byddent yn hunanol wrth hyn; pryd y mae'n arferiad gyd â'r doethaf o'r Groegiaid, a chyd â phobl eraill yn gyffredinol.

Y Lacedemoniaid a ommeddent adael i ddieithriaid ddyfod i'w mysg, ac ni adawent i'w dinasyddion fyned i drammwyo gwledydd eraill, rhag ofn eu llygru gan ddrwg siamplau. Fe ymddengys hyn yn dost, i wadu i bobl eu hawl mewn cymdeithas a masnach. Yn awr y mae'r Iuddewon mor bell oddiwrth weithredu y modd hwn, fel, er nad ydynt am ymwthio i mewn i faterion pobl eraill, etto y maent yn barod i dderbyn pawb a ddewiso ymgyssylltu â hwynt, yr hyn sydd yn arwyddo tuedd meddwl cymmwynasgar.

Yr Atheniaid, yn gyffelyb, a fostiant eu derbyniad o ddieithriaid: ond hyn a ymddengys yn fwy nag oedd Apollonius yn hysbys o hono. Mor ofalus oedd yr Atheniaid am anrhydedd eu duwiau, fel ag yr oedd un gair o ddystyrwch arnynt yn drosedd digonol i beri marwolaeth. Socrates a gollodd ei fywyd, nid am un bai erchyll, ond am wneuthur llwon newyddion, yr hyn, meddai efe, a ddysgasid iddo gan yspryd dwyfol. Pa un a ydoedd yn ddifrifol yn ei haeriad, sydd etto yn ddirgelwch; ond efe a brofwyd, ac a farnwyd i farwolaeth, a dygwyd ei fywyd ymaith trwy wenwyn. Fe'i cyhuddwyd hefyd o ddenu'r bobl i gynnwys gau-dybiau am grefydd a chyfreithiau eu gwlad.

Anaxagoras, y Clasomeniad, a ddioddefodd farwolaeth, am ddatgan nad oedd yr haul, yr hwn a addolai yr Atheniaid fel duw, yn unig ond maen chwilboeth. Diagoras, y Meliad, wedi gwatwar eu crefydd, cyhoeddiad a wnaethpwyd, yn cynnyg talent am ei ben: a'r un peth a ddigwyddasai y'mherthynas i Protagoras, ond efe a wnaeth ei ddiangfa. Efe a gyhuddwyd o fod yn awdwr ysgrifen ag oedd yn datgan ei amheuaeth y'mherthynas i dduwiau'r Atheniaid. Ond ni ddylem ryfeddu wrth y driniaeth hon a gafodd dynion, pan na chafodd merched un well. Offeiriades a roddwyd i farwolaeth wedi ei chyhuddo o addoli duwiau dieithr: ac fe'i gwnaethpwyd yn farwolaeth i'r sawl a ddygai i mewn grefydd newydd. Y mae'n eglur gan hynny na allai fod gan y bobl ffydd mewn duwiau eraill, cyn belled ag y gallai'r gyfraith ragflaenu i'w lluddias hwynt: a phe buasai ganddynt y fath ffydd, hwy a geisiasent ffafr y cyfryw dduwiau.

Hyd yn oed y Scythiaid, y rhai ydynt bobl ffyrnig a barbaraidd, ydynt er hynny mor ofalus i gadw yn barchus ddirgelion eu crefydd, ag y rhoddasant Anacharsis i farwolaeth am siarad yn rhy barchedig am dduwiau'r Groegiaid: ac fe ddywedir i ni am amryw bersonau a ddibenyddwyd ar y cyffelyb achos. Yn awr yr ydoedd Apollonius yn gyfaill gwresog i gyfreithiau y Persiaid, ac a'u rhyfeddodd hwynt yn gystal a'r Groegiaid, am y cyssondeb o'u haddoliad. Efe nid yn unig a dybiodd yn dda am, ond mewn rhan a ddilynodd y bobl hynny, trwy ammherchi gwragedd gwŷr eraill, a thynnu llygaid eu plant o'u pennau.

Y mae'r Iuddewon yn dala mor fanwl ar eu cyfreithiau, fel na's gellir eu denu gan ofn, mantais, awdurdod, nag un ystyriaeth arall, i gilio oddiwrth eu dyledswydd. Nid ydym yn wirfoddol yn ymryson ag anturiaethau, ond er cynnal ac amddiffyn ein hawl cyfreithlon. Nyni a ymostyngasom yn amyneddgar i bob creulonderau eraill; ond y treisiad o'u cyfreithiau sydd

fwyaf yn eu cyffroi, ac a'n gwnaeth i'r graddau uchaf yn anturiaethol ac yn gyndyn. Pa ham y cenfigenwn ni wrth gyfreithiau cenhedloedd eraill, pan eu gadawyd hwynt gan eu sylfaenwyr eu hunain? Pa fodd y gall y Lacedemoniaid esgusodi eu diffyg o haelioni, a'u harfer o gyd-gyfanneddu heb briodas. Trigolion Elis a Thebes a adawyd i chwantau annaturiol, a hynny i'r fath radd ag y mae cynnefindra yn agos a'u gwneuthur yn gyfreithlon. Y bai hwn hefyd a gynnyddodd ym mysg y Groegiaid, nes ei gyfrif i'w duwiau, y rhai a ddywedir iddynt orwedd gyd â'u chwiorydd eu hunain, ac yna gwneuthur iawn am y trosedd.

Pa wedd y gallwn lefaru am y gosodwyr cyfraith, ag sydd yn gofalu mwy am arbed na chospi troseddwyr; y rhai am wobr a faddeuant odineb, ac a esgusodant anniweirdeb, ar briodas y forwyn a niweidiwyd? y fath yma o gyttundeb sydd yn foddion i hudo'r cyffredin bobl i ymwrthod â rhinwedd, ac i dreisio y cyfreithiau: ac ymröad blaenorol a gymmerir yn fynych i sathru'r hyn oll sydd gyssegredig tan draed. Nid oes un peth o'r natur yma yn cael ei gyfrif i'n pobl ni: yr ystyriaeth o amddiffyniad ein rhyddid, ein heiddo, neu o fywyd ei hun, ni phâr i ni fyth ymadael â'r rhwymedigaethau a gyfrifem yn gyssegredig. Os tystiolaeth dufewnol o ragoriaeth ein cyfreithiau a'n rhwymodd i hyn, rhaid caniattau fod ein meddyliau wedi eu gosod ar beth da, a darfod i'r cyfreithiau atteb y diben o'u traddodiad: os gwedir lleshad ein cyfreithiau, y maent hwy fyth yn fwy beïus y rhai sydd â gwell cyfreithiau ganddynt, ac heb eu defnyddio.

Amser yw'r prawf o ragoriaeth pethau, a hynafiaeth y dystiolaeth oreu o ddefnyddioldeb cyfraith. Yma gan hynny y gorphwys ein rhesymmau er cymmeradwyaeth ein deddf-roddwr, a'i gyfreithiau y'mherthynas i addoliad Duw. Ni wada neb nad Moses ydoedd, o lawer oes, y deddf-roddwr boreuaf: ac fel y tardda ein cyfreithiau oddi wrtho ef, felly pob cenhedlaethau a'u dilynasant i ryw raddau. Yr wyf yn addef fod gan y Groegiaid hynafiaethol, mewn ymddangosiad, wahanol gyfreithiau: ond eu philosophyddion oedd ganddynt yr un syniadau am Dduw ag sydd gennym ninneu; ac a draddodent yr un athrawiaethau er cyfarwydd-yd i fuchedd dda.

Duwioldeb a llywodraeth reolaidd yr Iuddewon a sefydlwyd mor gadarn yn y byd, nad oes yn brin un genedl, Groegiaid na Barbariaid, na ddarfu iddynt mewn rhyw radd ddilyn eu siampl; un a'i trwy gadw ein Sabbath ar y seithfed dydd; trwy ymarfer ag ymprydio; trwy wneuthur defnydd o lampau; trwy ymgadw oddiwrth fwydydd gwaharddedig; trwy ymarferiad o ddynoliaeth; trwy feddiannu meddyliau cymdeithasgar; mewn diwydrwydd, neu ymroddiad i ddioddef tros y gwirionedd. Yn yr holl bethau hyn nyni ydoedd eu portreiad cyntaf.

Ond yr amgylchiad mwyaf rhagorol sydd yn aros heb ei sylwi; yr hyn yw, fod y casgliad hwn o gyfreithiau a chanddo y fath effaith ar feddyliau dynion a'i fod yn gweithredu heb un awdurdod arall ond ei thystiolaeth tufewnol ei hun, fel y gweithredir ar y greadigaeth gan yr Hollalluog. Pwy bynnag a gymmero olwg ar ei wlad neu ei deulu ei hun, a wel rym y sylwiad hwn. Yn awr a wnai rhyw un heblaw gelyn ein cynghori i newid ein hen gyfreithiau am rai newyddion, a'r rhai hynny o lai gwerth? Os na wnaed hyn, dylai pob gwaradwydd gael ei adael o'r neilldu. Wrth gofleidio ein hachos ein hunain, nid oes gennym elyniaeth i neb; ond yr ydym yn dywedyd gyd â pharch am ein prophwyd, gan ystyried fod Duw yn llefaru wrthym trwyddo ef. Ond bwrier ein bod heb wybodaeth ddigonol o'n cyfreithiau i'w gwerthfawrogi ar eu cyfrif eu hunain; etto y nifer o wŷr enwog a'u parchodd hwynt a ddylai ein rhwymo i'w hiawn ddefnyddio. Am hyn y llefarais yn fwy cyflawn yn fy hynafiaethau; ond fe'm cymhellir i wneud y sulw hwn er amddiffyn y gwir yn erbyn enllib, heb ewyllysio cablu eraill, mewn trefn i gadarnhau ein cymmeradwyaeth ein hunain.

Ond i ddiweddu, yr wyf yn tybied im' wneuthur yn dda fy addewid, wedi llawn brofi hynafiaeth ein pobl, a choffau amryw haneswyr ag sydd yn barchus yn crybwyll am danom yn eu coffadwriaethau. Soniwyd gan rai ddarfod i'n hynafiaid darddu yn ddechreuol o'r Aipht: hyn a wrth-brofais. Dywedwyd hefyd ein gyrru allan o'r Aipht o herwydd heintiau gwenwynig. Gwnaethum hefyd yn amlwg ddarfod i'n hynafiaid

ymladd eu ffordd yn wrol trwy ein gelynion i'w gwlad eu hunain. Rhai ysgrifenwyr a osodent allan Moses fel un o ymddygiad mwyaf twyllodrus, yr hyn sydd wrthwyneb i gyd-dystiolaethau amryw oesoedd canlynol, er ei gymmeradwyad. Byddai yn afreidiol amddiffyn ein cyfreithiau oddiwrth ammharch. Pob dynion o bwyll ac ystyriaeth, y rhai sydd yn eu darllen ac yn eu hiawn ddeall, a gydnabyddant fod y cyfreithiau hyn yn wrthwyneb i bob drygau, afradlonrwydd, ac ymryson; ac yn tueddu i chwanegu heddwch, cyfiawnder, diwydrwydd, a chymmwynasgarwch. Maent yn gwahardd rhyfel ar gyfrif trachwant neu gybydd-dra, ac yn gwarafun dychwelyd drwg am ddrwg. Maent yn cymmeradwyo ffyddlondeb yn yr achos cyffredin: yn rhoi gocheliad i bobl i beidio cymmeryd eu twyllo trwy gau-esgusodion, ac yn annog dynion i rinwedd trwy weithredoedd, yn hytrach na geiriau.

Ar y cyfan, gallaf ddywedyd fod ein cyfreithiau ni heb eu cyffelyb, gan na all dim ragori ar fanwl dduwioldeb; ufudd-dod cyfiawn i ordinhadau; cyttundeb mewn llwyddiant; cyfeillgarwch mewn cyfyngder; gwroldeb mewn rhyfel; a diwyd arferiad o gelfyddydau a llafurwriaeth mewn heddwch: ac yn ddiweddaf, cydnabod i ba le bynnag yr elom, neu beth bynnag a wnelom, ein bod yn cael ein golygu gan Dduw hollbresenol, a'n llywodraethu gan ei ragluniaeth. Pe 'sgrifenasid ein cyfreithiau yn rhyw le arall, neu eu traddodi i ddwylaw eraill cyn eu dyfod attom ni, buasem yn sicr tan rwymau i'r sawl a'u cadwasant: ond os na ddarfu un amser eu defnyddio yn amgen, ac os gwnaethom hwynt yn rheol ein hymarweddiad (fel y mae yn ddiddal i ni wneuthur,) gofynaf waethaf y fath ysgrifenwyr ag Apion a Molon; ac yr wyf yn cyfrif fy hun yn happus yn yr apeliad hwn, at Epaphroditus ac eraill, i ba rai y gall gwirionedd ein hanes gael ei ystyried yn wrthddrych o bwysfrwrogrwydd.

---

HANES

# MERTHYRDOD Y MACCABEAID,

## A YSGRIFENWYD GAN FLAVIUS JOSEPHUS.

YN y traethawd hwn fy amcan yw profi mai rheswm yw perffeithrwydd doethineb; yr hyn a wneir yn amlwg, os ymddengys fod rheswm, wedi ei phuro trwy ddysgedigaeth, yn gorchfygu'r nwydau: yr wyf gan hynny yn cynghori fy narllenwyr i fod yn ddiwyd yn eu hymdrech am ddoethineb. Rheswm yw sylfaen gwybodaeth; a phan ddywedom fod dyn yn rhagori ynddi, yr ydym yn dwyn ar gof ei fod yn meddianu pwyll ac ystyriaeth, y cyntaf a'r helaethaf o bob rhinweddau. Rheswm a all ymattal a ffrwyno'r tuedd i lythineb a gormodedd, ynghyd â mynwesiad o'r holl chwantau ag sydd yn wrthwyneb i gymmedrolder. Dichon ddiwygio llwgr ein naturiaeth, a'r gogwyddiadau gwael sydd yn lluddias cariad at, ac ymarferiad o gyfiawnder; gall dueddu i ddarostwng y nwydau o ofn, gofid, digter, a'r holl gynnyrfiadau sy'n tueddu i wanychu'r meddwl, ac yn sefyll mewn gwrthwynebiad i ddiysgogrwydd tymmor o galondid, pa un a wahaniaethir fel y pedwerydd brif rinwedd.

Wrth amryw arwyddion y gellid profi fod gan reswm awdurdod ar y nwydau: ond dewiswn yn hytrach ddwyn tystiolaeth anwrthwynebol oddi wrth weithred ddiddadl; ac apelio at siamplau personau a wahaniaethasant eu hunain, trwy offrymmu i fynu eu bywydau tros wirionedd a rhinwedd; yn mysg pa rai yr un mwyaf enwog ydyw ein cydwladwr Eliazar, a'r saith frodyr a ferthyrwyd gyd â'u mam. Diamheuol awdurdod rheswm ar y nwydau a wneir yn ddilys, trwy ddioddef o'r personau hyn yr arteithiau mwyaf, ac ymostwng i farw yn ewyllysgar. O herwydd paham bydd i mi ymdrechu i roddi clod dyledus i ddianwadalwch y dynion dewr-

wych hyn, a'r wraig enwog hono eu mam; a chyd-unaf i dalu'r deyrnged o anrhydedd iddynt a gydnebydd yr oesoedd i ddyfod yn ddyledus i rinwedd ddiysgog. Eu hymddygiaid a barodd ryfeddod, nid yn unig ym mhlith y rhai oedd yn dystion diduedd o'u dioddefiadau, neu y rhai a ddarlleuasant am danynt, ond ym mysg eu gelynion a'u harteithwyr, y rhai oeddynt yn synnu oblegid eu hamynedd a'u hymröad, yr hyn a barodd eu creulondeb hwy iddynt eu harferyd. Trwy eu hymnerthiad hwn hwy a ddaethant yn aberth ddyhuddol tros eu gwlad, cynddaredd y gorthrymwr a ddarostyngwyd, a'u cenedl a ryddhawyd oddi wrth orthrymder.

Rheswm a awdurdoda ar y nwydau cryfion o awydd-chwant bydol, gwag-ogoniant, a chynfigen; y meddwl ystyriol a ddarostwng ac a yrr ymaith y nwydau hyn, megis y gwna ddigter hefyd, er ei fod yn llai llywodraethus nag un arall. Hyn sydd amlwg yn achos ein syn-dad synhwyr-ddoeth Jacob, yr hwn a ddwys-feiodd ar ymddygiad ei feibion Simeon a Lefi, am ddifetha holl hiliogaeth y Sichemiaid, yn y geiriau canlynol: "Melldigedig fyddo eu dig, canys tost oedd; a'u llid, canys creulon fu;" pa ryw eiriau sy'n eglur arwyddo fod ei ddigter yn cael ei arbed gan reswm.

Gall fod yn gymmwys egluro y matter hwn ym mhellach yn esiampl Dafydd. Dywedir i ni, wedi ei fod yn ymladd â byddin y Philistiaid trwy'r holl ddydd, a gwneuthur lladdfa fawr yn eu mysg, yn yr hwyr efe a ddychwelodd i'w babell yn dra lluddedig, lle yr oedd wedi ei amgylchynu gan ei luoedd, y rhai a ddisychedent eu hunain o'r ffynhonnau cymmydogawl; ond y brenin, er yn dra sychedig, ni ellid ei foddloni ond â dwfr o wersyll y gelyn. Rhai o'i wŷr pennaf, yn awyddus i gyflawni ei ddymuniad, a wisgasant eu harfogaeth, a chan gymmeryd piser gyd â hwynt, hwy a dorrasant dros gloddiau, ac a aethant heibio i warchywdlu y gelyn, at ffynnon Bethlehem; ac oddi yno dygasant y dwfr a chwennychasai yfed o hono: ond efe, er ei fod ynghylch trengu o syched, a adgoffaodd y fath fai a fyddai iddo gyflawni ei ddeisyfiad wrth yfed y peth y peryglodd ei weision eu bywydau o'i herwydd, gan ystyried y byddai iddo mewn effaith, yfed eu gwaed hwynt: o herwydd pa ham, fe attaliodd ei chwant trwy ei reswm, ac a dywalltodd allan y dwfr yn offrwm i Dduw.

Fel hyn yr ymddengys, y dichon meddwl wedi ei dymheru â rheswm, wrthsefyll y nwydau cryfaf, attal y dymuniadau mwyaf angerddol, a nerthu y corph i ddioddef y poenau llymaf, trwy lynu yn ddiysgog wrth gyfraith rhinwedd. Y mae yn awr yn orphwysedig arnaf i gadarnhau fy rhesymau trwy brofiadau, wedi eu cymmeryd oddiwrth ymarferiad, o oruchel allu rheswm. O hyn y darfu i'n hynafiaid roddi arwyddion lluosog. Pan wrth drefniad rheoliadd eu bywydau, a'u hymlyniad parhaus wrth y gyfraith, yr ynnillasant ffafr tywysogion dieithr, yn enwedig Seleucus Nicanor, breninAsia, yr hwn a ganiattaodd iddynt ran o'i deyrnged wladol, i dalu cost eu haberthau, gan ddangos ei gymmeradwyaeth o'u gosodedigaethau. Yn y cysswllt hwn o amser y digwyddodd i rai o honynt, trwy ddichell dynion drygionus, gael eu darostwng i brofedigaethau chwerwon, fel yr ymddengys ar ol hyn.

Pan oedd Onias wedi ei osod i gyflawni swydd archoffeiriad tros ei fywyd, un Simon a ymrysonodd ag ef; ac wedi iddo, er mawr niweid i'n pobl ni ymdrechu i enllibio y gwr da hwn, pan nad oedd yn alluog i'w fychanu yngbyfrif ein cyd-wladwyr, efe a ffodd ymaith i lys brenin ar wlad arall, gyd â golwg ar fradychu ei wlad ei hun. Gwnaeth ei gyffes wrth Apollonius, y pryd hynny yn llywodraethwr Syria a Phoenicia, gan dywedyd wrtho, Mai trwy fawr zêl tros ei feistr y brenin, ei fod wedi dyfod i'w wneud yn hyspys o amgylchiad a allai fod er mantais fwyaf iddo; yr hyn ydoedd, fod amryw filiwnau o arian ynguddiedig yn nhrysorfa Jerusalem, nid er defnydd i'r deml, neu'r achos cyffredin, ond megis cuddfeydd gwŷr neillduol; ac am hynny, o iawn, y maent i'w perchennogi gan Seleucus. Y chwedl hwn wedi ei wrando gan Apollonius, fe ganmolodd zêl yr hyspyswr, ac a wnaeth Seleucus yn adnabyddus o'r peth: mewn canlyniad i hyn cafodd awdurdod i wneud ymgyrch i'r wlad gyd â byddin rymmus o wŷr, ynghyd â'r bradychwr Simon.

Apollonius a dystiodd ddyfod o hono ar yr ymgyrch hwn wrth orchymmyn y brenin, yr hwn a'i cyfarwyddasai i gymmeryd meddiant o'r holl arian oedd yn y drysorfa yn perthynu i bersonau neillduol. Yr amgylchiad hwn a barodd der-

fysg mawr; a'r bobl a achwyasant yn ei erbyn fel gweithred o anghyfiawnder mwyaf i wneuthur trais ar yr eiddo hwnnw; pa ryw eiddo, er mwy o ddiogelwch, a roddasid ynghadw yn y deml; a gwnaethant yr ymdrech a allent i'w rhagflaenu. Apollonius, pa fodd bynnag, a ddaeth ymlaen i'r deml, lle'r oedd nifer o offeiriaid, gwragedd, a phlant yn estynedig ar y llawr, yn ymbil yn daer ar yr Hollalluog Dduw, ar fod iddo amddiffyn ei deml rhag dirmyg a halogrwydd.

Apollonius, pa fodd bynnag, a barhaodd yn ei ymgais; ac wedi dyfod i mewn i'r lle gyd â nifer o wŷr arfog, ac ym min goresgyn y trysor, ymddangosodd amryw angylion o'r nef yn marchogaeth ar feirch, ac wedi ymwisgo mewn arfogaeth ddisglaer; yr hyn a frawychodd y treiswyr.

Apollonius, yn neillduol a syrthiodd ar y llawr ynghyntedd y Cenhedloedd, a chan estyn ei ddwylaw tu â'r nefoedd, fe ddeisyfodd ar yr Iuddewon, gyd â dagrau, a'r fod iddynt eiriol trosto, na ddifethid ef gan yr angylion gweinidogaethol. Onias yr archoffeiriad a dosturiodd wrth ei gyflwr; a chan ofni hefyd y cyfrifai y brenin Seleucus farwolaeth Apollonius i fradwriaeth oddiwrth ddynion, fe gydsyniodd â'i ddeisyfiad, ac a weddïodd trosto. Fel hyn wedi achub Apollonius, megis trwy wyrthiau, fe ddychwelodd at y brenin, ac a roddodd gyfrif amgylchiadol o'r hyn a ddigwyddasai.

Wedi marw Seleucus dilynwyd ef yn y llywodraeth gan ei fab Antiochus, tywysog o dymmer falch a chreulon. Antiochus a drodd Onias allan o swydd archoffeiriad, yr hon a roddodd i'w frawd Jason, a'r yr ammod o gael derbyn teyrnged flynyddol o dair mil chwe chant a thrugain o dalentau: Y brenin, gan hynny, a ordeiniodd fod iddo ef flaenori mewn llywodraeth wladol ac eglwysig. Y blaenorwr hwn a orthrymmodd ein pobl yn fawr, ac a'u hudodd i amryw ddrwg-arferion, trwy ddwyn i mewn ddefodau dieithr a gwrthwyneb i'w cyfraith. Fe osododd i fynu gampau Groegaidd yn ein prifddinas, ac a wahanodd yr offeiriaid oddi wrth wasanaeth y deml. Dialedd y Nefoedd oedd y canlyniad amlwg o'r didduwiaeth hwn, trwy fod i Antiochus gyhoeddi rhyfel yn eu herbyn; canys pan oedd yn gwneuthur ymgyrch yn erbyn Ptolemy, brenin yr Aipht, dywedwyd wrtho fod rhai o bobl Jerusalem yn gorfoleddu wrth y sôn a gerddasai o amgylch am ei farwolaeth; ar yr hyn y cyrchodd yn ddioed tu ag yno, gan wneuthur lladdfa echryslon ym mysg y trigolion; a chyhoeddodd, fod i bwy bynnag a ddilynai gyfraith Moses, ac a arferai ddefodau eu gwlad mwy, gael eu rhoddi i farwolaeth.

Ni chafodd y gorchymmyn hwn yr effaith a ddisgwyliwyd. Bygythion a chospedigaethau yn gydradd a ddirmygwyd: y gwragedd a fwrrid i lawr bendramwnwgl oddi ar fûr y ddinas am enwaedu ar eu plant; etto hwy a barhasant i'w arfer, er gwybod o honynt y canlyniad anocheladwy. Y brenin yn canfod ei orchymmyn yn cael ei ddiystyru, a ddaeth o amgylch i rybuddio yr Iuddewon yn bersonol, a'u cymmell i ymborthi ar fwyd gwaharddedig gan y gyfraith, ac yn ei ŵydd i dynghedu y grefydd Iuddewig.

Ynghylch yr amser hwn y bu i'r teyrn-ormeswr Antiochus, wedi eistedd ar ei orseddfaingc, a'u holl gynghorwyr o'i amgylch gyd â'i warchawdlu, orchymmyn dwyn amryw Iuddewon o'i flaen i ymorthi ar gig moch, a bwydydd a offrymmid i eilynod; a'r rhai a ommeddent a arteithid yn ddioed, ac a leddid yn ei ŵydd ef. Amryw aethent tan y driniaeth annynol hon, pan y dygwyd hen ŵr parchus, a elwid Eleazar, o flaen y brenin. Y gŵr hwn ydoedd ddinesydd enwog, ac wrth alwad yn un o'r cyfreithwyr; o dylwyth yr offeiriaid, ac yn dra chyfrifol gan amryw o gymdeithion Antiochus, o herwydd ei oedran a'i sefyllfa. Pan y gwelodd Antiochus ef, llefarodd wrtho i'r pwrpas canlynol: "Yr wyf yn dy gynghori, yr hen ŵr parchedig, cyn myned ym mlaen i arfer tostrwydd, i achub dy fywyd trwy ymborthi ar gig moch. Yr wyf yn perchi dy oedran a'th ben-llwydni, ac yn rhyfeddu dy fod yn parhau yn y goelgrefydd Iuddewig, wedi'r fath amldra blynyddoedd, y rhai a ddylasai dy ddysgu yn ddoethach. Y mae'n beth dieithr i mi i ddynion fod mor anghyfiawn iddynt eu hunain, ac mor anniolchgar i natur, ag i wadu iddynt eu hunain y mwynhad o'r pethau diniweid a arlwyodd iddynt. Am bareswm yr ymatteli rhag gwneuthur prawf o gig moch, yr hwn sydd fwyaf mwythus o bob bwyd, ac a ymddengys ei fod wedi ei

drefnu i ni gan y Nefoedd ynghyflawnder ei chyfranogiad? Yr ymddygiad hwn yn eraill a allai fod yn fwy esgusodol; ond mewn dyn o'th ddealltwriaeth di, y mae'n ynfydrwydd i'r graddau eithaf i dynnu i lawr farnedigaeth sicr ar dy ben dy hun wrth ddiystyru fy awdurdod, trwy ragfarn wag-grefyddol. Gad i'm gan hynny dy berswadio i agor dy lygaid, deffroi o dy frenddwyd, a rhyddhau dy hun o gaethiwed ag sy'n tarddu oddiwrth ddychymmyg ofer-wag a hunanol. A gaf fi obeithio y bydd i'r ymresymiad hwn dy annog i ofal cyfaddas trosot dy hun, trwy wneuthur derbyniad o'r cymmwynasgarwch yr wyf yn ei gynnyg mewn tosturi i'th oedran? Yr wyf yn tybied y dylai hyn dy annog i iawn deimlad: ac er na argyhoeddid dy reswm o ynfydrwydd y tŷb a gynhwysaist, etto gellit ganiattau, os oes rhyw Berson dwyfol mewn bod ag sydd yn gofyn dy sulw crefyddol, rhaid i'r Bod hwnnw fod â digon o ddaioni ynddo i faddeu toriad ei gyfreithiau, pan na bo'r trosedd yn dellhaw oddiwrth weithred yr ewyllys, ond yn effaith dirgymmelliad anocheladwy."

Wedi i'r brenin ddiweddu ei ymadroddion, dymunodd Eleazar ganniattâd i wneuthur attebiad; yr hyn wedi cydsynio iddo, fe lefarodd i'r pwrpas canlynol o flaen yr holl dyrfa: "Mae'n gymmwys i wneuthur eich mawrhydi yn adnabyddus, ein bod ni yn cadarn gredu y dylai'r gyfraith a roddwyd i ni gan Dduw gael manwl ufudd-dod ym mhob peth; heb gennym ddim dychymmyg y gall un math o orfodedigaeth neu angenrheidrwydd weithredu mor gryf ag i ganiattâu i ni esgusodiad oddiwrth un rhan o'r gyfraith hon. Chwi a grybwyllasoch nad yw ein cyfraith yn ddwyfol: pe caniattaid fod hynny yn wir, Syr, etto hi ddylai ein cyflawn rwymo ni ym mhob peth, tra'r ydym yn ei chymmeryd felly. Ni feddyliai eich mawrhydi, gan hynny, os byddwn mor wael a halogi ein hunain ag ymborthi ar fwydydd aflan, y gellid cyfrif y bai yn fychan neu yn faddeuol. Pa un bynnag a fyddo'r achos y trosedda dyn ynddo yn fwy neu lai, y mae traha troseddwr yr un, ac yn gydradd â'r dirmyg a osodir ar y gyfraith. Yr euogrwydd sydd yr un beth bynnag a fyddo'r weithred. Chwi goffasoch, Syr, fod ein crefydd isláw sulw y philosophyddion a dynion synhwyrol; ond caniattewch i'm ddywedyd mai perffeithrwydd yr holl philosophyddiaeth ydyw, pan mae yn dysgu i ni y gelfyddyd o gymmedrolder, ac yn ein cyfarwyddo i orchfygu ein dymuniad awyddus o fwyniant pethau daearol. Y mae'n ein cymmell i ymarferiad o wrolder, ac yn cymmeradwyo ymostyngiad siriol i boenydiau. Y mae'n gosod o'n blaen reolau manwl o gyfiawnder, ac yn ein gorchymmyn yn unig i addoli y Bod Hollalluog i ba un yn unig y dichon parch fod yn ddyledus. O ba herwydd ni ddylem ryfygu cymmeryd bwyd aflan a gwaharddedig; canys fe'n hargyhoeddir ddarfod i Dduw, awdwr natur, gymmeryd gofal digonol o'i blegid; a bod gosodiad y gyfraith hon mor bell oddiwrth ddrygu, a'i fod yn weithred o gymmwynasgarwch i ddyn: bod pethau gwaharddedig yn niweid i'n heneidiau, a'r rhai hynny yn unig y caniatteir i ni eu harfer sydd yn llesol i ni. Y mae, gan hynny, yn greulondeb mwyaf i wneud i ni dreisio ein cyfraith ei hunain, a bwytta'r pethau hynny a waherddir o herwydd eu bod o sylwedd gwrthwynebus. Ond, Syr, ni chewch fyth fuddugoliaethu fel hyn arnaf fi. Yr wyf yn diystyru'r meddwl o wnèuthur trais i'r llwon difrifol, a'r addunedau cyssegredig, trwy y rhai y rhwymodd ein tadau gynt eu hunain a'u hiliogaeth i wneuthur sulw o'r gyfraith hon. Nid ymostyngaf fi pe gorchymmynech dynnu fy llygaid o'm pen, a rhoddi fy nghorph i'w losgi. Nid yw oed etto wedi fy ammharu gymmaint, nad yw fy rheswm yn rymmus i weithredu ar alwad dyledswydd a chrefydd. Os anfoddlonir chwi â'r attebiad hwn, parottowch eich offer o boenydio, a chwanegwch at wres eich peiriau: ond, er hyned wyf, ni threisiaf fyth gyfraith Duw na'm gwlad i achub fy mywyd. Ni ymadawaf â'r gyfraith yn yr hon i'm haddysgwyd; ni roddaf heibio byth y cymmedroldeb hwnnw, y goreu o rinweddau, ag sy'n dysgu i ni orchfygu ein blys a'n chwantau: ni waradwyddaf fy philosophyddiaeth, ac ni ddygaf warth ar radd yr offeiriadaeth ac astudiad y gyfraith. Cadwaf fy nghydwybod yn ddifrycheu fel yr eiddo fy hynafiaid, ac a barhaf yn ddiofn hyd angau, tan yr holl arteithiau a osoder arnaf."

Wedi i Eleazar wneuthur yr attebiad mawrfrydig hwn i ymadrodd y gorthrymwr, y mil-

wyr a'u llusgasant i'r lle o ddihenyddiad. Wedi diosg ei ddillad oddi am dano, hwy a'i rhwymasant, gan ei fflangellu hyd nes ydoedd y croen yn ymadael â'r cnawd, pan y safodd swyddog o bob tu iddo, gan lefain, "Ufuddhewch i orchymmyn y brenin." Eleazar a ymddangosodd yn berffaith ddigyfnewid tan ei arteithiau, ac a safodd â'i olygon ar godiad tu a'r nef, nes rhwygo ei gnawd oddi wrth ei esgyrn, a'r gwaed yn llifo i'r ddaear. O'r diwedd trwy fod yn analluog i ddioddef ei loesion, fe syrthiodd i lawr: ac er archolli ei gorph yn y modd hwn, fe ymddangosodd ei fod yn meddiannu ei synwyrau i gyflawn berffeithrwydd. Ar hyn un o'r milwyr a'i tarawodd â'i droed i wneuthur iddo gyfodi; ond efe a ddioddefodd ei holl boenau gyd â gwrolder di-gyffelyb, fel yr oedd y rhai a'i harteithiai yn rhyfeddu wrth y fath ragorol fawrfrydigrwydd enaid mewn corph mor hen ac egwan.

O herwydd hynny, rhai o'i boenwyr, er eu bod yn weision i'r brenin, oedd yn tosturio wrth ei oedran, a chan adgoffa eu hadnabyddiaeth o'r blaen o hono, a lefarasant wrtho fel y canlyn, "Paham, Eleazar, yr ymostyngi i ddioddef y fath ddirfawr boenau yn ddi-achos. Cydsynia ag i ni osod o dy flaen ymborth glân a chyfreithlon, pan y gelli yn y cyfamser gymmeryd arnat fwytta o honot gig moch, yn gyttûn â gorchymmyn y brenin, ac felly cadw dy fywyd heb wneuthur trais i'r gyfraith." I'r hyn yr attebodd Eleazar, "Na ddyweder fyth am danom ni, y rhai ydym blant Abraham, y medrwn ymddwyn mewn ffordd mor gyfrwys-ddrwg ac annewr, a chymmeryd arnom yn unig wneuthur gweithred an-addas. Byddai yn ymddygiad dieithr ynof fi, yr hwn hyd yma a ufuddheais i gyfreithiau gwirionedd, ac a gedwais eirda difrycheulyd, i osod siampl ddrwg i eraill, trwy wadu fy egwyddorion yn fy henaint, a threulio allan weddill fy mywyd ar bwys ffuantrwydd, a dyfod yn wrthddrych o ddirmyg cyhoeddus o herwydd fy llwfrdra a'm digalondid." Ei arteithwyr, trwy ganfod ei ymröad, ac yn gweled nad oedd eu trugaredd gynnygiadol yn cael dim effaith arno, a'i harweiniasant at y tân, ar ba un y taflasant ef, gan ei boenydio yn greulon, a thywallt *liccer* berwedig i'w ffroenau fel yr oedd yn llosgi. Pan oedd ei gnawd ynghylch gwahanu oddiwrth ei esgyrn, fe gododd ei olwg tu a'r nefoedd, ac a ddywedodd, "O Dduw, tydi wyt dyst o'r arteithiau yr wyf yn eu dioddef, a'm bod yn dewis marwolaeth trwy dân, mewn ufudd-dod i'th gyfraith, yn hytrach na pharhad o fywyd trwy'r troseddiad o honi. Bydd drugarog, gan hynny O Dduw, wrth dy bobl, a bydded i'm marwolaeth i wneuthur iawn tros eu beiau. Derbyn fy mywyd i am yr eiddynt hwy; a bydded i'm gwaed i weithredu fel aberth o buredigaeth." Y dyn da hwn a fu farw gyd â diweddiad y weddi hon.

Henffych well, offeiriad sanctaidd, yr hwn a ommeddaist halogi dy enau a'th gylla â bwydydd wedi eu hoffrymmu i gau-dduwiau! Henffych, bregethwr y gyfraith, ac athraw y philosophyddiaeth a ddysgir i ni gan air Duw! Henffych, batrwn a siampl i rai a fynnent amddiffyn y gyfraith ag aberthiad! Henffych, dad sancteiddiol, yr hwn a fawrheaist ein gwladwriaeth trwy argyhoeddi'r byd o effeithioldeb y philosophyddiaeth sydd yn disgyn o'r nefoedd. Henffych, ryfeddi henaint, a zêl gyfiawn, cadarnach nag arteithiau, a gwresoccach nâ thân. Henffych, gyntaf fuddugoliaethwr, yr hwn a orchfygaist dy dymmherau, megis y rhedodd ein tad Aaron i blith y bobl, wedi ei ymarfogi â thuser, ac a wrthsafodd yr angel dinystriol, yr hwn oedd yn difetha ein cyndeidiau â thân. Felly Eleazar, un o hiliogaeth yr Aaron hwnnw, trwy uniondeb ei feddwl, a orchfygodd y fflammau oedd yn difetha ei gorph. Ac er ei lesgâu gan oedran a gwendidau, rhoddodd brawf o fod yn meddiannu cryfdwr ieuengctyd. Henffych, barchedig henaint a pheullwydni! Henffych, uniondeb mewn bywyd, wedi ei dystio gan angau mor ogoneddus!

Diau fod yr awdurdod sydd gan reswm ar y nwydau yn cael ei gyflawn brofi yn yr esampl yma o ddyn, wedi ei wanhau trwy oedran, yn dioddef y cyfryw boenydiau gyd â chymmaint o ymröad: ond fel na ddyweder fod y nwydau a chariad at fywyd yn lleihau ynghyd â'r nerth, bydd i ni yn awr ddwyn ger bron esiamplau o wŷr ieuaingc, y rhai wedi eu hannog trwy'r un egwyddorion, a aethant fyth tan arteithiau llymmach. Y poenydiwr wedi defnyddio ei gynddaredd yn erbyn yr hen wr truan yn ofer, a orchymynodd i eraill o'r caethion Hebreaidd gael eu dwyn o'i flaen, gan addaw eu rhyddhau

hwynt, os cydsynient i gymmeryd bwydydd gwaharddedig; ond os gwrthodent, y byddai iddynt gael eu poeni yn fwy llym nag Eleazar.

Mewn canlyniad i'r gorchymyn hwn, gwraig barchedig, a'i saith mab, a ddygwyd ger ei fron ef. Yr ieuengctyd ydoedd mor rhagorol trwy harddwch eu personau a'u hymddygiad serchoglan, fel nas gallai amgen na synnu tu ag atynt. Wedi bwrw golwg arnynt gyd â phleser, fe barodd iddynt agoshau at ei orsedd, ac a lefarodd wrthynt yn y modd hwn, "Yr wyf yn cyfaddef fy hun, wŷr ieuaingc, wedi fy rhag-feddiannu â serchogrwydd tu ag attoch ar eich ymddangosiad cyntaf. Yr wyf yn perchi eich teulu, pa un sydd wedi ei fendithio â chynnifer o frodyr, ac y mae gennyf fwriadau caredig tu ag attoch. Yr wyf, gan hynny, yn eich cynghori na adawoch i'ch sêl eich dwyn i'r fath bell-dra ffol a hunanol a'r hen bleidiwr, yr hwn a welsoch yn awr yn trengu tan arteithiau. Mi sicrhaf i chwi fy ewyllys da, os cydsyniwch â'm cynnygiadau. Yr wyf mewn cydradd allu i wobrwyo y rhai a ufuddhant i mi, ag i gospi y rhai a'm di-anrhydeddant: hyderwch, gan hyny, y dyrchefir chwi i leoedd o anrhydedd ac ymddiried, os ymadewch â defodau eich gwlad, a byw yn ol dull y Groegiaid, gan ymwrthod â gwag wahaniaethau mewn bwydydd, a boddhau y dymuniadau hynny a berthyn i ieuengctyd, er ei wadu gan eich ymarferiad coel grefyddol eich hunain. Eithr ystyriwch, os bydd i chwi wrthod fy nghynnygion, fe'm cymhellir i'ch cospi â marwolaeth mor dost ag a ddichon dialedd brenhinol ei ddyfeisio. Trugarhewch, gan hynny, wrthych eich hunain, tra yr wyf fi, ddieithriad a gelyn, yn cynnyg i chwi drugaredd. Na ddifethwch yr ieuengctyd a'r prydferthwch hwnnw a ewyllysiwn ei achub. Ond rhaid eich difetha os na achubwch eich hunain. Ystyriwch, gan hynny, ac na phenderfynwch yn rhy gyflym, pan wyf fi yn dywedyd, mai arteithiau, a thân, a marwolaeth, a fydd y canlyniad o'ch anufudd-dod."

Wedi dywedyd hyn, fe alwodd am offerynau yr arteithfa: ac wedi i'r milwyr ddwyn y cwbl i'r golwg, y gorthrymwr yn disgwyl trwy'r pethau hynny oll eu dychrynu, a lefarodd fel y canlyn. "Byddwch ddoethion mewn amser, O ieuengctyd, ac arswydwch ddialedd brenin digofus. Ni bydd ddim bwy yn feïus ynoch i gydsynio; ac ni raid i chwi ammeu na fydd i'r Duw yr ydych yn ei addoli ystyried a chydymdeimlo a neilldnolrwydd eich sefyllfa." Ond ni ellid eu denu hwynt ag addewidion, na'u dychrynu â'r offerynau dïal. Mor bell oeddynt oddiwrth yr argraph o ofn, fel yr oedd eu hymröad yn cynnyddu, a grym eu rheswm a fuddugoliaethodd a'r greulondeb y poenydiwr. Pe buasai un o honynt yn gwangalonni neu yn afresymmol yn hoffi bywyd, buasai ef yn gosod o flaen y lleill yr ynfydrwydd o wrthod cyngor y brenin, a dewis marwolaeth greulon o flaen elw a dyrchafiad: buasai yn eu hanog i ymadael â'r pwngc o anrhydedd i achub eu hunain rhag dinystr: i dosturio wrth eu mam oedrannus, a pheidio a'i dwyn i'r bedd trwy eu hanufudd-dod; buasai yn dadleu cywirdeb sylwiad y brenin, na allai Duw gael ei ddigio, ac na feïai'r gyfraith ar weithred anwirfoddol: mewn gair, fe fuasai yn canmol bywyd o esmwythder a phleser, yn hytrach na dewis marwolaeth dreisgar a phoenydiol.

Ond y gwŷr ieuaingc cefnog, heb eu darostwng gan holl arlwy yr offerynau dychrynllyd o'u blaen, a roddasant lawn brofiad o fod eu nwydau tan awdurdod eu rheswm; a'u bod mor bell oddiwrth gydsynio â'r gorthrymwr, fel y llefarasant wrtho i'r pwrpas canlynol: "Paham, O frenin, yr oedir fel hyn? Os eich golwg sydd ar gael gwybod pen draw ein hymröad, gwybyddwch ein bod eisoes wedi penderfynu cyfarfod ag angau mewn unrhyw wedd, yn hytrach na threisio cyfreithiau ein hynafiaid: canys, heblaw y parch sydd ddyledus i'w siampl hwynt, yr ystyriaeth o gyfraith Moses a ofyn genym yr ufudd-dod hwn. Am hynny na themtia ni i roddi i fynu ein hegwyddorion, ac na ymddangoswch yn tosturio wrth y rhai yr ydych yn eu casbân. Y meddwl am angau sydd yn llai poenus na'r fath dosturi gwatworllyd ag sydd yn cynnyg arbed ein bywyd ar gost ein hanrhydedd. Yr ydych yn ymddangos i feddwl y gellir ein dychrynu ni â dychymmyg o farwolaeth ac arteithiau, er y gallai y profiad a wnaethpwyd ar yr hen ŵr da, a laddwyd eich argyhoeddi o ddiddefnyddgarwch y cyfryw weithred ar weision y gwir Dduw. Os dichon y gŵr hynaf yn ein plith oddef y fath boenau yn

ddiymollwng, a fydd i barhad amyneddgar ieuengctyd fod yn llai amlwg? Nyni a ddilynwn ei esiampl ef, megis y cymyddasom tan ei hyfforddiadau. Am hynny p ofwch os yw yn eich gallu ddifetha ein heneidiau, tra'r ydym yn dioddef yn achos crefydd. Ond hyn sydd yn ammhosibl: ni all eich barbariaeth ein niweidio ni: effaith y poenau a osodwch arnom a fydd yn wobr dyledus i'n hamynedd diysgog a'n rhinwedd: ond y canlyniad i chwi a fydd ofnadwy; trwy lofruddio cynnifer o bersonau dieuog o drosedd, chwi a ddeuwch yn ddarostyngedig i boenau tragywyddol, yn ddychweliad am yr arteithiau tymmhorol a osodwch arnom ni."

Y teyrn-ormeswr wedi llidio wrth yr attebiad hwn, a ymroddodd i gospi eu hanufudd dod, ac yn ddioed a orchymmynodd i'r dihenyddwyr i ddwyn yr hynaf i'w arteithfa. Hyn a wnaethant, gan rwymo ei ddwylaw, ei ddiosg o'i ddillad, a sicrhau ei freichiau yn y fath fodd ag y derbyniai'r ffangellau. Eithr wrth weled y ffangell yn cael dim effaith arno, fe'i hestynwyd ar yr olwyn; ac a'i esgyrn wedi tori neu eu gyrru oll o'u lle; fe lefarodd fel y canlyn: "Anghenfil anwireddus! Gelyn Duw a'r gwirionedd! Nid yw dy driniaeth farbaraidd i hon wedi ei gosod arnaf am lofuddiad, neu unrhyw drosedd o'r gyfraith, ond yn unig oblegid ufuddhau o honof i'm Duw, a chadw ei orchymmynion." Ar hyn y milwyr a'i perswadiasant i gymmeryd bwyd y brenin, fel y rhyddheid ef o'i boenau: ond efe a attebodd, "Chwi a gam-gymmerasoch os tybiwch ddarfod i'r olwyn newid fy ymadroddiad: ni all eich offerynau mwyaf poenus ddadlettŷa fy meddwl, neu dagu fy rheswm. Darniwch fy nghorph, a llosgwch fy nghnawd, nes ei wahanu oddiwrth fy esgyrn: ond cyrhaeddiad pellach eich arteithiau,a geiff dystio i chwi, mai gogoniant yr Hebreaid yw aros yn ddiysgog pan f'ont yn dioddef yn achos hawl cydwybod." Tân a osodwyd yn awr tano ef, a'i gorph a dröwyd at y fflammau, fel yr oedd yr olwynion a charfan y peiriant wedi eu gorchuddio â gwaed a chnawd wedi ei rwygo oddiwrth ei gorph. Y tân a ddiffoddwyd gan wlybwr ei ymysgaroedd oedd yn diferu arno; ac o'r diwedd nid oedd wedi ei adael ond ei ysgerbwd. Tra y parhaodd yr arteithiau hyn ni thraethodd ddim achwynion; ond, fel gwir fab Abraham, a ymgynhaliodd tan yr arteithiau fel pe buasent yn unig yn chwanegu ei wrolder. Fe lefarodd wrth ei frodyr, gan ddywedyd, "Canlynwch fy siampl i; na ymadewch â mi tan y brofedigaeth hon; ac na wadwch y berthynas rhwng eich heneidiau, pa un sydd nes na'r un honno o'n cydwaedoliaeth. Ymdrech ogoneddus yw'r un hynny yn achos crefydd. Nac ammheuwch diriondeb rhaglnniaeth y Tad nefol yr ydym yn ei addoli, yr hwn a'n gwobrwya ni a'n holl genedl, ac a gospa y gorthrymwr gwaedlyd hwn i radd gyfattebol i'w falchder a'i greulondeb." Wedi dywedyd hyn, y dyn ieuangc sanctaidd a drengodd.

Yr edrychwyr oeddynt yn rhyfeddu wrth y prawf yma o gefnogrwydd, pan y dygwyd yr ail frawd ym mlaen gan y milwyr, y rhai a'u sicrhasant wrth yr offerynau dihenyddol, ac a ofynasant a wnai efe dderbyniad o ammodau trugaredd. Gan fod attebiad yn ymroddgar megis ei frawd, hwy a rwygasant ei gnawd, ac a flingasant y croen oddi am ei wyneb a'i ben. Tan y dioddefaint hwn fe lefodd allan, "Croesaw farwolaeth mewn un rhyw ddull, pan ydym yn dioddef yn achos crefydd. Bwystfilaidd orthrymwr! Oni wyddost dy fod yn dy gosgi hun yn fwy na myfi? Dy ddigofaint, wrth weled dy amcanion yn cael eu diddymmu trwy fy anghyfnewidioldeb i mewn achos da, sydd yn dy boeni yn fwy na'r arteithiau hyn fyfi. Cydwybodol ddiniweidrwydd, ac edrychiad yn ol ar fywyd o rinwedd yw fy nghynhaliaeth, tra y mae dy feddwl euog di yn cael ei archolli â'r amgyffrediadau mwyaf dychrynllyd. Duwdod digofus a farna dy ddrwg weithredoedd."

Wedi marw y brawd hwn, dygwyd ym mlaen y trydydd, pan y darfu amryw bersonau ei gymmell yn daer i fwytta bwyd y brenin, a chadw ei fywyd: ond efe a attebodd yn ddigllon, yr ydych yn ymddangos yn ddieithriaid i'r berthynas sydd rhyngof â'r rhai a fu farw o'm blaen. Yr oeddym yn blant i'r un rhieni, fe'n haddddysgwyd gan yr un athrawon, ac a weithredasom yn wastad oddi ar yr un egwyddorion: a ellir gan hynny feddwl y bydd i mi yn y weithred olaf hon o'm bywyd ymwrthod â'm hundeb â'r rhai hynny na orfu iddynt erioed gywilyddio fy addef i yn frawd iddynt?" Yr ymadrodd hwn wedi ei draddodi mewn dull ymröadol, fel

y cynhyrfodd cynddaredd y dihenyddwyr, rhoisant yn ebrwydd ei ddwylaw a'i draed yn yr ysgrywiau, fel y dadgymhalwyd holl fysedd y traed a'r dwylaw; a rhoddasant estyniad pellach ar yr offeryn nes tynnu o'u lle esgyrn y coesau, y breichiau, a'r ysgwyddau. Fel ag yr oedd ei fywyd ganddo ar ol hyn oll, hwy a dynnasant ei groen oddi am dano o flaen ei fysedd hyd goryn ei ben. Pan oedd ei gorph wedi ei rwygo y modd hwn, hwy a'u llusgasant ar yr olwynion, ym mha le wedi ei dynnu ymhellach yn rhydd gan ysgrywiau, fe welodd ei gnawd ei hun yn syrthio yn ddarnau, a'i ymysgaroedd yn ffrydio allan. Pan oedd agos a threngu fe lefodd,"O lofruddion barbaraidd! Hyn yr ydym yn ei ddioddef er tystiolaeth i grefydd a chyfraith Dduw, yr hwn sydd barod i'n gwobrwyo, pan yn gospedigaeth am y creulondeb hwn, y dioddefwch chwi arteithiau mwy annioddefol."

Y brawd hwn wedi dioddef yn ol gradd ei deulu, y pedwerydd a ddygwyd ym mlaen i'w ddihenyddio: ond yn gyntaf fe'i cynghorwyd i adgoffa ei hun, a chymmeryd rhybydd oddiwrth ddioddefiadau ei gyd-frodyr: ond efe a attebodd, "Ni all un gradd o wres eich tanau wneud i mi gilio yn ol, wedi'r siamplau blaenorol o ferthyrdod. Ni waradwyddaf fy mherthynas. Prawf fi, orthrymwr, trwy boenfa, a ydwyf o'r un teulu, ac yn cael fy mywiogi gan yr un yspryd, â'r rhai a ddarfu i ti a'th gynddaredd annuwiol dynnu eu haelodau yn rhyddion oddiwrth eu gilydd â chreulondeb gwaeth na bwystfilaidd." Antiochus wedi ffyrnigo wrth yr ymadrodd hwn, a roddodd orchymmyn i dorri ei dafod allan o'i ben yn ddioed; ar yr hyn y llefodd y dyn ieuangc ymhellach, "Pa mor ynfyd yw'r creulondeb hwn! Gwaith ofer yw cymmeryd ymaith yr offeryn ymadrodd oddi wrthyf, pan wyf yn ymddiried i'r Duw hwnnw sydd yn gweled y galon, ac a ŵyr feddyliau y rhai a fyddo yn ddistaw. Dyma fy nhafod yn barod i'ch offerynau; ond cofiwch mai pan dorroch ef ymaith, ni ellwch ddiffodd fy rheswm, na gwneuthur fy meddwl yn fud. O na allwn farw wrth y modfeddi, fel y gallai pob rhan o'm corph ogoneddu Duw, trwy eu haberthu yn wahanol i'w anrhydedd ef! Ond am danat ti, O orthrymwr, euogrwydd a dialedd a'th erlid ac a'th gospa di, yr hwn a dorri ymaith y tafodau sydd yn gogoneddu y Duw a'u ffurfiodd hwynt."

Arteithiau difesur wedi terfynu bywyd y brawd hwn, y pummed a ddaeth ym mlaen yn siriol o hono ei hun, gan ddywedyd, "I'th argyhoeddi, O orthrymwr, pa mor lleied y mae dy arteithiau di yn argraphu arnaf, gwel, y modd yr wyf yn barod i gyflwyno fy hun, heb aros wrth dy orchymmyn, gan fod yn awyddus i roddi prawf heb golli dim amser. Pa gyntaf y dibenir fi, cyntaf oll y bydd fy nedwyddwch i a'th euogrwydd dithau yn gyflawn; a thrwy chwanegu un at nifer y rhai a lofruddiaist, byddaf yn helpio i'th addfedu di i farnedigaeth. Dywed, ddifethwr dy gyd-ddynion, beth a allai dy gymmell fel hyn i'n difetha ni? A ydyw yn feius i wasanaethu y Creawdwr mawr, a threfnu ein hunain wrth y deddfau a osododd efe? Yr ymarferiad hwn a ddylasai beri i ddynion gael eu gwobrwyo yn lle eu poenydio." Wedi llefaru y modd hwn, y milwyr a'i rhwymasant wrth y chwerfan-dro, a gwasgasant i mewn ei liniau, gyd â chloïon heiyrn am ei draed: ac wedi ei estyn âg ysgrywiau, ei lwynau a ddaethant yn rhyddion, ac efe a ymglymodd o amgylch yr olwyn fel neidr, a'i esgyrn yn fuan a ddrylliwyd. Tan boenau arteithiol, ac ynghylch wedi ei dagu, fe lefodd allan, "Yr wyt yn gwneud ffafr â nyni yn erbyn dy ewyllus; pa fwyaf llym yw ein harteithiau, mwyaf ardderchog yw'r prawf a roddwn o'n hamynedd, a'n hanwadalwch crefyddol."

Nid cynt y darfu iddo drengu, nag y gofynodd y gormeswr i'r chwechfed brawd, a wnai ef dderbyniad o ammodau gwaredigaeth. "Er fy mod yn ieuangach mewn blynyddau (eb efe,) yr wyf yn gydradd â'm brodyr mewn cefnogrwydd. Ein genedigaeth a'n dygiad i fynu oedd yr un, a phaham na fydd ein marwolaeth yn gyffelyb, gan ein bod wedi ymrwymo yn yr un achos? Os penderfynaist, gan hynny, i mi fyned tan yr un profiad, cymmeraf ofal i farw trwy fy nghynnal gan gydwybod dda." Yna fe'i rhwymwyd wrth yr olwyn, ei esgyrn a ddrylliwyd, a thân a osodwyd tano ef: a'r milwyr a frathasant biccellau tanllyd i'w gefn a'i ystlysau, nes difetha ei ymysgaroedd. Yn y cyfamser fe lefodd, "Gogoneddus ymdrech, a gynhaliodd fy mrodyr yn achos crefydd, ac a fuont yn orchfygwyr; fel y rhaid fod yr achos

bob amser gyd â'r meddyliau a wreiddiwyd mewn rhinwedd. Mi fyddaf gyd-farw â'm brodyr, ac a chwanegaf at rifedi dy boenydwyr, tydi adyn barbaraidd, a gelyn i ymlynwyr wrth wir grefydd! Chwech o honom yn awr a wrthsafodd dy falais, trwy ommedd cydsynio â'th gynhygion uffernol. Dy danau a ymddangosasant yn oerion, dy arteithfa yn esmwyth, a'th filwyr yn amddiffynwyr ein cyfraith yn lle dihenyddwyr: trwy fod yn analluog i ddarostwng ein crefydd, y maent yn ein cynnorthwyo i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd o honi."

Y dyn hwn a fwriwyd yn awr i bair berwedig, pan yr ymddangosodd y seithfed frawd, ar yr olwg o ba un yr ymddangosodd y poenydiwr megis yn tosturio tu ag atto; a chan alw arno, efe a ddywedodd, "Ti welaist ddiwedd truenenus dy frodyr, ar gyfrif eu gwrthnysigrwydd; canys yr arteithiau hyn oeddynt yn unig y canlyniad o'u hanufudd-dod; a'r un diwedd sydd yn ebrwydd yn dy aros ditheu, os na chymmeri rybudd oddiwrth eu siampl hwy: ond i annog gwahanol ymddygiad, yr wyf yn awr yn cynnyg i ti fy ewyllys da, ac a'th ddercbafaf i leoedd o anrhydedd ac ymddiried yn fy nheyrnas." Y brenin hefyd a wnaeth ei ymadrodd wrth y fam, megis yn cwynfan iddi ei hanffortun, a deisyf arni achub ei phlentyn oedd yn weddill: ond a hi yn llefaru wrth ei mab yn yr iaith Hebraeg (fel y crybwyllir ar ol hyn,) efe yn ddisymmwth a lefodd, "Dattodwch fy rhwymau fel y llefarwyf wrth y brenin, a'r rhai sydd o'i amgylch. Wedi gwnenthur hyn âg ef gyd â pharodrwydd, fe redodd ar frys at ochr y peiriau, ac a lefodd, "O orthrymwr, amddifad o bob crefydd, ac anghenfil pob ysgelerder! Ti dderbyniaist deyrnas, ac amryw fendithion tymhorol gan Dduw, ac etto a lofruddi gyfeillion y fath gymmwynaswr. Ai'r ermyg a'r arteithfa a deli di i Dduw, y'mhersonau y rhai a'i haddolant ef. Sicrha it' dy hun y bydd i gyfiawnder dy erlid a'th orddiwedd, ac sydd yn awr yn parottoi tân ac arteithiau i ti, nid cyffelyb i'r rhai hyn, y rhai sydd yn fuan yn diweddu ein poen, ond yn parhau yn ddiddarfod, ac yn llosgi yn annioddefol tros hir oesoedd. Adyn truenus! pa greadur o'r un ffurf a all ymhyfrydu yn briwio, yn poenydio, ac yn difa ei gyd-farwolion? Etto y fath un yr wyt ti yn ymddangos, er bod dy duedd, fel dy dynghedfen, mor wahanol i'r eiddom ni. Nyni y rhai ydym yn meirw i borthi dy falais a wnaethom ein dyledswydd, ac a fyddwn yn wynfydedig gyd â Duw; pan fyddech di, yr hwn a lofruddiaist gynnifer o ymdrechwyr tros y gwirionedd, yn udo mewn tragywyddol anobaith, ac yn melldithio gweithredoedd euog y dydd hwn, wedi ei myned yn rhy ddiweddar i feddyginiaethu y drwg o honynt. Mor ofnadwy, mor ddychrynllyd yn dy gyflwr; mor ogoneddus a dedwydd yw'r eiddo fy mrodyr, na fydd i ofn nac addewidion fy nhemtio rhag eu dilyn hwynt: ac yr wyf yn golygu yr amser yn faith nes i mi gyfranogi o'u dioddefiadau yma, a'u dedwyddwch yn ol hyn. Wedi dywedyd hyn, fe fwriodd ei hun i un o'r peiriau, ac a fu farw yn y fan.

A erys unrhyw amheuaeth yn neb y gall rheswm, tan arweiniad crefydd, ddarostwng y nwydau, pan ydym yn gweled saith o frodyr yn yn diystyru ac yn gorchfygu poenau marwolaeth, oddi ar berffaith gyttundeb yn yr un egwyddorion. Onid yw yn amlwg pe buasai y dynion hyn tan lywodraeth eu nwydau neu dueddiadau eu natur, y buasent yn cymmeryd bwydydd anghyfreithlon, ac yn ymostwng i unrhyw ammodau i gael mwynhau esmwythder a diogelwch? Hyn oedd bell oddiwrth fod eu cyflwr hwynt: eu tymherau a dawelid gan eu rheswm; disgleiriant yn orfoleddus, a derbyniant glod gan eu Duw. Trwy'r holl fynediad hwn ym mlaen, yr ydym yn canfod ardderchowgrwydd y meddwl, ac mor lleied yw gallu poenydiau a theimladau i awdurdodi arno. Byddai yn anghyfiawn i wadu i'r merthyron hyn y glod ddyledus i fawrfrydigrwydd eu hymddygiad, yn dwyn eu nwydau yn ddarostyngedig i'w rheswm, fel na's gellid eu gorchfygu trwy dân nac arteithiau. Fel y mae nerth tonnau yn cael eu torri gan amddiffynfeydd ar lan y môr, fel ag i wneuthur y porthladd yn gyfleus, felly'r oedd tymmhestloedd a llifeiriant y nwydau, yn cael eu torri gan amddiffynfa seithblyg rheswm.*

* Nid peth o ddieithrwch bychan yw fod Josephus, yr hwn ni allai fod yn anwybodus o'r modd yr oedd effeithiol allu Duw yn cael ei amlygu mor ogoneddus ynghadwedigaeth Daniel a'i dri chyfaill oddiwrth gynddaredd y llewod a'r fflammau tân, heb gyfrif cefnogrwydd y dioddefwyr duwiol hyn i'r un cyfnerthiad Hollalluog, yn hytrach nag (fel yn bennaf y mae) i rym ac addysg rheswm; yr hwn heb ei gynnorthwyo gan ddwyfol ras, a geir fyth yn gynhaliaeth annigonol tan y fath amrywiaeth o boenau ag a osodwyd ar ardderchog lû y merthyron, yn

Pa mor fawr a rhyfedd oedd yr olwg ar y fath gymdeithas, yn annog eu gilydd i barhau, a'u cyd-leisiau yn gwneuthur sain beraidd! Fel hyn yr oeddynt yn bywiogi eu gilydd, "Cofiwch frodyr ein bod wedi ymrwymo yn yr un achos: byddwn feirw fel brodyr, yn yr amddiffyniad o'n Duw a'i gyfraith. Y tri llangc o Assyriaid gwrolwch a otynasant waethaf y ffwrn dân a brenin Babilon: dilynwn eu siampl ogoneddus hwynt."

Pan y mae crefydd a chydwybod wrth yr ystangc, y mae'n weddus i ni ddiystyru ofn, a gweithredu gyd âg ymröad. Un o'r brodyr a ddywedodd, "Ymwrola frawd!" Yr ail a lefodd, "Parhâ." Y trydydd a waeddod, "Cofiwch ein cyndad, Abraham, yr hwn a gydsyniodd i farwolaeth ei fab; ac Isaac, yr hwn yn siriol a ymostyngodd i ddyfod yn aberth." Yna hwy a gydgysurasant eu gilydd, gan ddywedyd, "Cyssegrwn ein heneidiau yn llawen i Dduw: y bywydau a roddodd efe eu benthyg i ni, adferwn yn ol drachefn, ynghyd â'n cyrph er amddiffyniad o'i gyfraith sanctaidd. Paham yr ofnwn y rhai a ddifethant y corph? Ein hofn a ddylai yn hytrach fod rhag colledigaeth dragywyddol ein heneidiau, yr hyn ni all ddigwydd i'r rhai a ddyfal lynant wrth y gwirionedd. Am hynny arfogwn ein hunain â chadernid; felly, ar ein marwolaeth, fe'n derbynir yn llawen gan Abraham, Isaac, a Jacob, a'n parhad a ganmolir gan ein duwiol hynafiaid.

Fel yr arweinid hwynt yn wahanedig i'w dibenyddio, y rhai oedd yn aros ar ol a annogent y lleill oedd yn myned o'r blaen, gan ddywedyd, "Cofia, frawd, y modd y dylit ymddwyn; na warthrudda y rhai a'th flaenorodd, na'r rhai a'th ddilynant." Annogaeth o'r fath yma ydoedd yn dra chynhaliol; a'r berthynas o frodyr oedd a'i heffaith briodol yn ei dilyn. Y darllenydd a gydnebydd awdurdod y serchowgrwydd a osodwyd gan Ragluniaeth ynghalonau y rhai a darddant oddiwrth yr un tad, ac a enir o'r un fam; a sugnant yr un bronnau, a borthir wrth yr un bwrdd, a ddysgir gan yr un athrawon, ac a ddygir i fynu yn yr un grefydd. Y cyfryw ydoedd y serchowgrwydd a'r anwyldeb rhwng y brodyr hyn; ac, yn ganlynol, yr annogaeth a'r cyngor a roddent i'w gilydd ni allai amgen na bod o bwys nid bychan: canys hwy a ddygwyd i fynu yn yr un ffydd, ac a ddysgwyd i ymarfer yr un rhinweddau; a'u cyd-rinweddau a raid fod wedi cynnyddu trwy eu cyd-barchedigaeth; canys parch naturiol a wellheir bob amser trwy undeb mewn daioni, a chyd-ymdrechiad tros wasanaeth Duw: felly pa fwyaf crefyddol oedd pob un o'r rhai hyn, mwyaf oll a fyddai ei gariad tu ag at bob un o'i frodyr, ac y deuai yn fwyaf teilwng o'u cariad hwynt. Yn y siampl hon y mae gennym achlysur i sylwi, y modd y gorchfygid y nwydau gan reswm: canys er bod y gofal tyner oedd ganddynt am eu gilydd yn cael ei chwanegu trwy ystyriaeth o enedigaeth, carennydd, dysgeidiaeth, a theilyngdod personol; etto'r holl ystyriaethau hyn a oruwch-bwyswyd gan yr un rhagorach o grefydd; fel ag, mewn achos mor ardderchog, yr oedd arteithiau a marwolaeth y fath berthynasau agos, yn lle poen, yn rhoddi boddlonrwydd i'r rhai oedd yn byw ar ol, y rhai oedd edrychwyr boddlongar o'r weithred.

Wedi eu cefnogi trwy annogaeth eu gilydd, cawsant eu perswadio i ddirmygu poen, a darostwng serchiadau natur. Y modd hwn yr oedd eu meddyliau wedi eu harddderchogi yn rhagorach na thrwy enedigaeth. Ni ddarfu i un o'r ieuaingc hyn ddangos yr arwydd leiaf o ofn, na suddo yn eu meddyliau ar agoshad o farwolaeth yn ei holl ddychrynfeydd; ond a ddynesasant ym mlaen i gyfarfod yr arteithfa a'r tân, fel dynion yn rhedeg yr yrfa o farwoldeb, ac â brys arnynt i gyrraedd am y cyntaf at y nod.

Megis y mae ein dwylaw, ein traed, a'n haelodau eraill yn ymsymmud wrth gyfarwyddyd yr enaid; felly'r ieuenyctyd gwrol-wych hyn a ddynesasant at angau megis wedi eu gweithio i hynny gan yr un yspryd cyffredin. Fel y mae'r byd, wedi ei grëu mewn saith o ddyddiau, yn dwyn i'n meddyliau berffaith fawrhydi a daioni Duw; felly y mae'r saith merthyr yma, trwy eu gwrolder a'u parhad yn rhoddi i ni esiampl a ddylai symmud oddi wrthym ofn angau. Oad,

gystal o flaen ac ar ol dyfodiad Crist. Rheswm naturiol sydd raid ei goleuo a'i chyfarwyddo gan Yspryd Duw, cyn y gall fod yn wasanaethgar i ni yn materion crefydd, i'r hyn y mae i'w hystyried y pryd hyngy yn unig megis llaw-forwyn: ond ffydd yn unig, o weithrediad Yspryd Duw, yr hon hyd yma a fu, ac a raid ei bod yn ol hyn, yn nerth a chynhaliaeth i bob gwir israeliad, o ddechrau'r byd hyd ei ddiwedd, Gwel Heb. xi trwyddi.

och! yr ydym ni yn dyfod yn fyr o'u patrwm hwynt, er na fedrwm ddarllen neu wrando am eu dioddefiadau heb gyffroi ein meddyliau.

Pa boenfa a all ragori ar yr uu hynny o dân, yr hwn yn ebrwydd sydd yn ysu ac yn difa? Etto y dynion dewrwych hyn a ddioddefasant yn ymroddgar yr arteithiau llymmaf. Ond i chwanegu ein rhyfeddod, a lleihau y tybiau o fawrfrydigrwydd, a feddylia rhai, yn perthynu iddynt eu hunain; rhodder cennad i mi i ddwyn achos gwraig ger bron, yr hon a roddodd brawf gogoneddus o oruwch lywodraeth rheswm ar y tymmerau neu'r nwydau; un o ddioddefiadau'r hon oedd yn erwinach na'r partïon a grybwyllwyd uchod. Amrywiaeth boenau mam, ynghyd â'u tostrwydd, yn edrych ar farwolaethu ei saith mab, ni ellir yn hawdd ei amgyffred. Rhaid oedd ei bod hi wedi ei llofruddio seithwaith.

Naturiol serch rhieni sydd wedi ei glymmu â dedwyddwch eu plant. Hyn sydd amlwg hyd yn oed ym mhlith anifeiliaid, y rhai a ddangosant dynerwch tu ag at eu rhai bychain, yn gyffelyb ag ym mhlith dynion. Ond paham y crybwyllaf anifeiliaid, pan y mae holl natur yn llawn o'r tueddrwydd hwn at eu hiliogaeth? Y gwenyn er prysuro i adeiladu eu celloedd, ydynt ofalus i amddiffyn eu cychod. A phan ymosoder arnynt gan y rhai gormesol, hwy a ymddiffynant eu rhai bychain â'u colynau, pa rai a wasanaetha iddynt yn lle arfau.

Mam y gwŷr ieuaingc a grybwyllasom, ydoedd yn fath wir ferch i Abraham, na allai ei thynerwch at ei phlant ei hun ei denu i wneuthur trais â'i dyledswydd. Mor ganmoladwy oedd ei zêl, fel pan osodwyd gwaredigaeth a dyrchafiad ei meibion mewn cydmariaeth â chrefydd, hi wnaeth ddoeth ddewisiad o'r diweddaf; gan ufuddhau i Dduw yn hytrach na'r brenin, a chwennychu llwyddiant nefol i'w meibion yn hytrach nag un daearol. Y fam yr wyf fi yn llefaru am dani ydoedd â mwy serch ynddi tu ag at ei phlant na mamau yn gyffredinol: ei chariad a ehangid trwy saith enedigaeth boenus; a phob loes newydd a ddioddefodd, a roddodd rym i'r serchowgrwydd a deimlodd tu ag at y rhai y dioddefodd y loesau hynny o'u plegid.

Eithr er hyn i gyd, cariad Duw a oruwchbwysodd yr holl olwg oedd ganddi yn bresennol ar lwyddiant tymhorol ei meibion. Ni charodd hwynt erioed mor bur a phan oeddynt yn rhoddi y prawf hwn o'i hanwadalwch yn y ffydd: yr oeddynt yn ddoeth, yn galonnog, yn serchiadol, ac mor deimladwy o'u dyledswydd, ac i farw mewn amddiffyniad o'u cyfraith, o ufudd-dod i'w mam; tra'r oedd hi, gan ddibrisio gadael i'w thynerwch weithredu yn rhy rymmus, neu ei rheswm i gael ei siglo gan yr arteithiau a ddioddefent yn eu cynghori o'r neilldu a chyd â'u gilydd, i ddangos eu zêl tros grefydd, trwy ddiystyru dioddefiadau a marwolaeth.

Henffych naturiaeth, tydi fam gyffredinol! Henffych, gariad rhieni! Henffych, gydymdeimlad tyner caredigrwydd mam! Gwelwch yma wyrthiau! saith blentyn yn cael eu harteithio a'u llosgi yngwydd eu mam; etto ei duwioldeb heb ei ddarostwng ar yr olwg o hynny. Gwelodd gnawd ei phlant yn golosgi, cymhalau eu dwylaw a'u traed wedi eu rhwygo ymaith, ac yn crynu ar y llawr; croen eu dwylaw a'u traed wedi ei bilio oddi am danynt, a'i daflu wrth ei thraed: hyn oll a welodd heb gynhyrfu dim arni. Yr ing ag oedd yn awr yn ei ddioddef oblegid ei phlant, a raid ei fod yn fwy na'r un hynny o eni ei phlant, ac oedd yn un arddechoccaf o'i rhyw. Marwolaeth ei chyntafanedig ni chynhyrfodd ddim arni; golwg drangcedig yr ail, a gruddfanau y trydydd, oedd yn ymddangos yn annheimladwy iddi. Ni ddiferodd ddeigr wrth weled torri ymaith ddwylaw a phennau; na phan oedd cyrph y rhannau anwylaf hynny o honi ei hun wedi eu gosod yn bentwr o'i blaen. Llesmeiriad diweddaf ei hiliogaeth, ynghanol eu hing a'u loesau, oedd yn foddlonrwydd i'w chlywedigaeth, fel llais yr alarch wrth farw. Er bod natur yn dadleu yn gryf, hi ommeddodd ymollwng; a phan berswadid hi i'w hachub, rhoddodd hwynt i fynu i ddioddef, mewn llawn obaith o'u dedwyddwch yn ol marw. Hi brofodd ei hun yn wir ferch Abraham, trwy broffesu ei ffydd a'i chefnogrwydd. Henffych, fam teulu a fu ffyddlon tros grefydd a'r gyfraith. Mawr oedd dy amynedd a'th galondid, yn peri cenfigen i'th ryw dy hun, a rhyfeddod i'r eiddom ninnau! Megis arch Noa, yr hon oedd yn cynnwys y byd a adawsid yn fyw, yn nofio yn fuddugoliaethus ar ddyfroedd y

dilnw; felly ditheu, wedi dy daflu ar donnau trallod, a'th yrru gan wyntoedd cystuddiau, yn cael dy gynnal gan dy sêl dros grefydd, a gefaist y goreu ar y dymmestl.

Gadawer i mi yn awr ddychwelyd at y pwngc yr wyf am ei brofi. Os gallai mam oedrannus i saith o blant, o herwydd ei sêl tros y gwirionedd, ddioddef eu gweled yn y fath ing yn meirw, fe ganlyn fod gan reswm wedi ei iawn arwain, gyflawn arglwyddiaeth ar y nwydau. Mae'n amlwg mai fel hyn mae'r achos gyd á'r natur ddynol yn gyffredin, gan y dichon nid yn unig i ddynion, ond merched hefyd, orchfygu pob teimladau cyffredin, a gofyn gwaethaf yr arteithiau mwyaf llym. Y llewod yn ffau Daniel oeddynt esmwyth mewn cydmariaeth, a seithwaith boethder ffwrnas Mishael yn oeraidd, wrth wrês y cûr a'r gofid oedd raid fod yn trywanu ei mynwes, pan ydoedd dyst o'r ing a'r arteithiau tan ba rai y trengodd ei meibion: etto ei holl deimladau a ddarostyngwyd trwy oruwch ystyriaethau rheswm a chrefydd.

Pe buasai'r wraig hon o dymherau egwan, tebygol yw y llefasai allan yn y dull canlynol, "Annedwydd druanes wyf; wedi fy mendithio mor ddiweddar â saith o feibion, ond yn awr wedi fy ymddifadu o honynt oll! O goll-ofalon a phoen yn maethu plant, wedi eu harfaethu i'r tân a'r arteithiau. Ofer yw fy llafur, a diffrwyth fy nyddiau a'm nosweithiau gofidus, a'r drafferth o'u dygiad i fynu a aeth i gyd yngholl! Ni chaf weled byth mwy fy mhlant caredig: ni chaf lawenydd yn eu priodasau, na bod yn ddedwydd yn yr ail a'r drydedd genhedlaeth. Yr oeddwn unwaith yn happus yn rhifedi a rhinwedd fy meibion; ond yn awr yr wyf yn weddw unig, heb un plentyn i gysuro fy mlynyddoedd o wendidau, nag i osod fy mhen blinderog yn y bedd."

Ond mor bell oedd y wraig ryfedd yma oddiwrth y fath achwynion a hyn, neu ewyllysio i'w phlant fyw, ag y buasai yn ei gofidio, pe na buasent feirw mewn canmoliaeth. Ei meddwl cadarn a ystyriodd nad oedd eu marwolaeth ond trwydded neu fynediad i fywyd anfarwol: hi erfyniodd gan hynny arnynt am gyflawni ei llawenydd trwy aberthu eu bywydau i grefydd. Ardderchog fam! yr hon pan oddiweddwyd hi a'i meibion, ac ydoedd yn dyst o farwolaeth Eleazar, a ymrwymodd yn galonnog yn yr achos gogoneddus, gan annog ei phlant, trwy lefaru wrthynt yn Hebraeg, yn y dull canlynol: "Gwelwch, fy meibion, pa ryw ymdrech gogoneddus yw hwn! Os gelwir chwi i ddioddef y cyffelyb, ymddygwch gyd â sirioldeb a chefnogrwydd, gan ystyried pa anrhydedd a ymhelaetha trwy hynny i'n pobl, a chyfraith ein hynafiaid. Bydd yn waradwydd i'ch ieuengctyd a'ch grymmusder, os suddwch tan eich trallodion, wedi darfod i ddyn a wisgwyd yn agos allan gan henaint a gwendidau, ddioddef y fath arteithiau mawrion, oddi ar ystyriaeth o ddyledswydd. Coffewch, fy mhlant anwyl, pa beth yw bywyd, a chan bwy y darfu i chwi ei dderbyn. Rhodd Duw ydoedd, ac a barhawyd trwy ei ragluniaeth; a'ch dyledswydd yw ei roddi i fynu wrth ei ewyllys ef. Yn sicr ni fydd i chwi ymwrthod ag unrhyw boen er ei fwyn ef, mewn ufudd-dod i ba un y bu Abraham barod i aberthu ei fab, yr hwn oedd dad addawedig ein cenedl ni; ac ni wrthododd Isaac dderbyn yr ergyd gan yr offeryn marwol. Daniel ddiniwaid a fwriwyd heb ofn i ffau'r llewod, a'r tri llangc i'r ffwrn dân. Teimlad o ddyledswydd at Dduw a'u gwnaeth yn ymroddgar i ddioddef; a chwithau a ddylech fod yn ewyllysgar i fyned tan yr un dioddefiadau, gan eich bod yn cynnal yr un ffydd. Y rhai sydd a chanddynt iawn deimlad o grefydd ni wrthodant unrhyw ddioddefiadau a esyd yr achos cyssegredig arnynt." Fel hyn yr annogwyd y saith blentyn yma gan eu mam, yr hon a ddangosodd iddynt pa mor gyfiawn oedd iddynt farw, yn hytrach na threisio cyfraith Dduw, yn enwedig pan fyddai preswylfod dragywyddol gyd âg Abraham, Isaac, a Jacob, mewn teyrnas o wynfydedigrwydd di-ddiwedd, yn sicr ganlyniad o'u parhad.

Fe adroddwyd gan y milwyr, mai pan oeddynt ynghylch cymmeryd, a myned i ddihenyddio y fam, hi a'u rhagflaenodd trwy fwrw ei hun i'r tân. Hynafwraig barchedig, yr hon yn y modd yma a siommodd gynddaredd y teyrn-ormeswr, gan ei wrthsefyll fel adeilad gadarn, a gynhelid gan saith golofn! Gogoneddus fam! amynedd pa un a gynhelid gan ffydd ansigledig yn Duw, a gobaith sicr o wobrwydd rhagllaw. Nid disgleiriach y mae'r lleuad yn llewyrchu yn y

ffurfafen, wedi ei chylchynu gan y sêr, nag y mae hi yn cyfrannu i, ac yn derbyn oddiwrth ei saith mab, ymbresennoldeb Duw, yn y trigfannau nefol. Ei meibion oeddynt yn wirioneddol o ffyddlon had Abraham. Pe tynnid darluniad gan ryw un o'r olygfa uchod, pob amgylchiad berthynol iddi wedi ei hiawn amliwio, ni allai amgen na'n meddiannu â syndod, a pheri ynom ddychryn ar yr olwg o'r fam a'r meibion yn trengu tan y fath arteithiau. Pe byddai i golofn, megis y dylai, fod wedi ei hadeiladu er eu coffadwriaeth, ac anrhydedd ein cenedl, rhyw fath o fedd-argraph, cyffelyb i'r hyn a ganlyn a fyddai yn weddus: "Claddwyd yn y lle hwn offeiriad parchedig, gyd â mam oedranus, a saith o'i meibion anrhydeddus, wedi eu llofruddio gan deyrn-ormeswr, yr hwn yn ofer a gynhygiodd ddifetha gosodiadau a chyfreithiau'r Iuddewon: canys yr ymdrechwyr hyn a'i gwrthsafasant gan orchymmyn eu hachosi Dduw; a pharhausant er gwaethaf poenydiau a marwolaeth, i sicrhau rhagorfreintiau eu crefydd a'u gwlad." Mewn gwirionedd yr ymdrech ydoedd ddwyfol: amynedd a ddodwyd i lawn brofiad, rhinwedd a farnodd y gwerth, a gwynfyd anfarwol ydoedd wobr y gorchfygwyr.

Eleazar oedd y cyntaf a anturiodd i'r brofedigaeth waedlyd; ni ddiystyrodd y meibion yr ymladdfa, a'r fam a gofleidiodd yr ymdrech. Y gorthrymwr oedd eu gelyn, y byd yr edrychwyr, a chrefydd y buddugoliaethydd; canys yn eu personau hwynt hi a goronodd ei hymdrechwyr calonnog. Pwy a allasai edrych ar, a phwy a ddichon wrando am yr antur ogoneddus hon, heb dalu y deyrnged o fawl a rhyfeddod? Y gorthrymwr a'i annogwyr a ryfeddasant wrth yr amynedd hwnnw a gynhaliodd y dioddefwyr; ac, er mor ddiddynoliaeth oeddynt, parchasant y duwioldeb na allent ei ddarostwng.

Sylwiad Moses oedd yn wirionedd; "Ei holl saint sydd yn dy law." Y dynion hyn a ganmolir gyd âg anrhydedd, megis rhai wedi eu sancteiddio i Dduw. Ac nid yw'r fantais o'u dioddefaint wedi ei gyfyngu yn unig iddynt eu hunain. Wedi i'w gwaed gael ei dderbyn fel iawn gan Dduw, fe'i cymmhellwyd i ddychwelyd mewn trugaredd at ei bobl, a'u gwaredu oddiwrth y gorthrymder â'r hwn y beichid hwynt. Canys Antiochus ei hun, wedi ei daro â syndod wrth yr ymröad â pha un y dioddefodd y dynion hyn eu harteithiau, a ganmolodd eu cefnogrwydd; gan beri i'w swyddog ei gyhoeddi fel patrwm i'w filwyr ei hun: ïe, ymhellach, gan farnu am yr holl bobl wrth ychydig o bersonau, fe gymmerodd amryw o honynt i'w wasanaeth, ac a'u defnyddiodd mewn gwarchaedigaethau a brwydrau; ac wedi cael trwyddwynt hwy, amryw fuddugoliaethau, parwyd iddo ddeall mai crefydd oedd sail cefnogrwydd; a bod y rhai a ddiystyrant fywyd, ac a ddichon farw o egwyddor, yn ddiddadl yn filwyr mwyaf dewrwych a chalonnog. Chwychwi, had Abraham, ag sy'n meddiannu y zêl hon; a chwi o hiliogaeth Israel yr anwylyd, telwch ufudddod i'r gyfraith ddwyfol. Cydymffurfiwch â hi ym mhob peth; byddwch fyw yn ol ei haddysg a'i disgyblaeth, gan mai'r fath yw ei natur a'i heffaith, a bod yr holl nwydau yn gorfod ymostwng i'w hawdurdod.

Ac nid yw'r ymostyngiad hwn yn golygu yn unig y nwydau o fewn ein mynwes, ond blinderau allanol a chystuddiau corphorol, fel y mae yn amlwg oddiwrth y dynion yma, yn ymostwng eu hunain i boenydiau ar gyfrif crefydd. Yr ymorchestwyr hyn a ymladdasant, ac a fuddugoliaethasant, fel ag i beri eu rhyfeddu gan ddynion, a'u gwobrwyo gan Dduw. Tra'r oeddynt yn gorchfygu arteithiau a marwolaeth, gorchfygasant eu gelynion oedd yn eu gosod arnynt, a chadarnhasant wirionedd eu cyfraith a'u crefydd, y dirmyg ar ba un a gyffroisai y Duwdod i'w cospi trwy orthrymiad Antiochus: ond tra'r oedd y tywysog hwn yn arfer creulondeb tu ag at eraill, yr oedd yn tyrru dialedd iddo ei hun: canys, wedi gweled na wnai gorthrech na gweniaith berswadio'r Iuddewon i wneud derbyniad o ddefodau dieithr, fe ddychwelodd ymaith o Jerusalem, ac a wnaeth ryfel yn erbyn y Persiaid; ac yn fuan ar ol hynny fe fu farw yn nod truenus i ddial y nefoedd.

Adroddaf yma ychydig yn rhagor o gynghorion y fam ardderchog i'w meibion. "Adfyfyriwch (ebe hi) ar ymarweddiad eich mam, yr hon yn hir a arhosodd yn forwyn bur. Ni chrwydrais o dŷ fy nhad, ac ni ddarfu y sarph a dwyllodd Efa allu fy hudo i. Mewn ffyddlondeb priodasol i'ch tad, mi dreuliais flodau fy mywyd. Y tad hwnnw a fu farw mewn parch cyff-

redinol, wedi i chwi ddyfod i flynyddoedd o oedran. Fe'i bendithiwyd ef yn ei blant, ac ni welodd y trueni o ddarfod eu rhwygo oddi wrtho. Tra fu efe byw, poen fawr a gymmerwyd yn eich dysgeidiaeth, a'ch dygiad i fynu yn grefyddol, i'ch parottoi âg egwyddorion cymmwys i'ch cynnal yn y brofedigaeth bwysfawr hon. Y gyfraith a'r prophwydi a ddysgwyd i chwi ganddo ef, yr hwn a ddescrifiodd i chwi siamplau eu hamynedd a'u rhinwedd. Fe fynegodd i chwi am Abel, yr hwn a lofruddiwyd gan ei frawd Cain: am Isaac, yr hwn a fwriadwyd yn boeth-aberth; am Joseph, yr hwn a garcharwyd oblegid ei ddiweirdeb; ac am zêl Phinehas tros gyfraith Dduw. Rhinwedd a gwobr Ananias, Azarias, Mishael, a Daniel, a adroddwyd am danynt ganddo ef.

Efe yn fynych a goffaodd i chwi am y Rhagluniaeth trwy ba un y mae Duw yn amddiffyn ei bobl, a grybwyllir y modd hwn gan Esaia: "Pan elych trwy'r dyfroedd, myfi a fyddaf gyd â thi; a thrwy'r afonydd fel na lifant drosot: pan rodiech trwy'r tân ni'th losgir, ac ni ennyn y fflam arnat:" Pan yn blant, fe ddysgodd i chwi gân Dafydd, "Aml ddrygau a gaiff y cyfiawn; ond yr Arglwydd a'i gwared ef oddiwrthynt oll." Fe'ch cyfarwyddodd yn y rheol honno o eiddo Solomon, pa un a ddywed am ddoethineb, mai "Pren y bywyd yw hi i'r neb a ymaflo ynddi." Efe a adfywiodd eich ffydd â'r lle hwnnw yn Ezeciel, ag sydd yn crybwyll am fywhau yr esgyrn sychion: ac fe ddysgodd i chwi gân Moses, yr hwn wrth lefaru tros Dduw, a ddywed, "Myfi sydd yn lladd, ac yn bywhau;" a'r hwn wrth ddatgan y gyfraith a fynega, "Trwy'r pethau hyn yr estynwch eich dyddiau yn y tir yr ydych yn myned tros yr Iorddonen i'w feddiannu."

O ddydd gogoneddus, yn hytrach na phruddaidd, pan gynneuwyd y tân gan Antiochus greulon, a chyd â chynddaredd gwaeth nag anifeilaidd, a ferwodd ei beiriau; ac a rwymodd ar yr arteithfa saith mab y ferch hon i Abraham! pan y rhwygodd eu tafodau o'u pennau, ac y tynnodd eu llygaid trwy'r creulondeb mwyaf maleisus a gwatworllyd! Ar yr amser hwnnw cyfiawnder Duw a ddialodd, ac a ddial bob amser y cyfryw weithredoedd barbaraidd ar yr awdwyr o honynt. Ond y meibion duwiol hyn, ynghyd â'u mam, a symmudwyd i drigfanau o dragywyddol wynfyd; wedi eu derbyn i gymdeithas eu cyndeidau cyfiawn; ac a dderbyniasant gan y Duw yr ymddiriedasant hwy iddo, eu heneidiau mewn cyflwr pur ac anfarwol. I'r Duw hwnnw y byddo gogoniant tragywyddol.

---

# CENNADWRIAETH PHILO

AT YR

# YMERAWDWR CAIUS CALIGULA,

## ODDIWRTH IUDDEWON ALEXANDRIA.

---

### PENNOD I.

AR farwolaeth Tiberius, y derchafiad ymerodrol a ddisgynodd ar Caius Caligula, yr hwn a ellir yn gyfiawn ei ystyried yn siampl hynod o gyfnewidioldeb y natur ddynol. Wedi i'r tywysog hwn esgyn yr orsedd, y milwyr Groegaidd a Barbaraidd, oeddynt yn byw mewn cyflwr o frawdoliaeth, a thawelwch mawr yn aros ar dir a mor yn yr holl daleithiau, yn amrywiol barthau'r byd. Dedwyddwch Caligula ydoedd mor fawr ag i ragori ar bob crediniaeth. Yr oedd yn meddu trysor diderfyn mewn aur ac arian. Ei luoedd ar for a thir oeddynt yn aneirif, a ffynhonnell ei deyrnged ydoedd yn ddiyspydd; canys pob rhan gyfanneddol o'r byd oedd yn cyfrannu at draul ei lywodraeth. Yr Euphrates a'r Rhine oedd yr afonydd a ffur-

fiodd derfynau i'w ymerodraeth; y gyntaf yn terfynu ar wledydd y Parthiaid, y Sarmatianiaid, a'r Scythiaid; a'r ail ar yr Allmaen, a chenedlaethau barbaraidd eraill. Ar y cyfandir, yn gystal ag yn yr ynysoedd, ni adnabyddid dim ond y dedwyddyd mwyaf; canys trigolion Rhufain ac Itali, a'r rhai yn amryw daleithiau Ewrop ac Asia, a dreulient eu hamser mewn math o barhaus wledda. Yn fyr, y cyfryw oedd yr helaethrwydd o angenrheidiau a chyfleusderau bywyd, ac mor gyffredinol oedd boddlonrwydd a hyfrydwch pob graddau a'u bod yn gydradd mewn happusrwydd.

Caius, pa fodd bynnag, wedi ymadael â'r drefn reolaidd o fywiolaethu, yr hon a ddilynodd yn fanwyl yn amser Tiberius; a thrwy wneuthur ymarferiad o ymdrochi ar amserau anghymmwys, a bwytta ac yfed i ormodedd, a chyfranogi o holl afradlonedd y llys; yn yr wythfed mis o'i deyrnasiad, efe a oddiweddwyd âg afiechyd disymmwth a pheryglus. Canys fel y mae y bendithion o iechyd a grym corphorol yn ganlyniadau naturiol o ddilyn rheolau cymmedroldeb; felly, yn y gwrthwyneb, gwendid, afiechyd, a marwolaeth a ddygir yn gyffredin ar ddynion trwy foddhau yn ormodol eu nwydau. a chyflawni eu chwantau mewn modd afresymmol.

Afiechyd yr ymerawdwr a'i goddiweddodd yn nechrau yr Hydref, ar ba amser y llongau a ddygent nwyfau marchnadyddion i amryw barthau y byd, y rhai ni allent auafu mewn lleoedd pellenig, oeddynt tan angenrheidrwydd i hwylio tu â'r amryw wledydd yr oeddynt yn myned iddynt. Trwy'r moddion o'r llongau hyn gwybuwyd yn fuan am afiechyd yr ymerawdwr trwy'r holl ddaear gyfanneddol; mewn canlyniad i'r hyn y cymmerodd prudd-der a galarnadau le y llawenydd oedd wedi ymdaenu trwy'r byd o'r blaen; fel y poenwyd y bobl yn fwy na Caligula ei hun, canys nid oedd efe yn dioddef ond cystudd corphorol, tra'r oeddynt hwy yn llafurio tan drallod meddwl; gan ofni y byddai i'r heddwch a'r esmwythder a fwynhasent er's cyhyd o amser gael ei aflonyddu; ac y peryglid eu rhyddid, eu meddiannau, a'u bywydau hefyd â chaethiwed. Ond yr ymerawdwr yn fuan a adferwyd i'w gyflwr cynnefinol o iechyd; a'r newyddion dedwydd o hyn a daenwyd ar fyrder trwy bedwar rhannau'r greadigaeth. Ond pobl yn anghymmedrol a lawenychasant yn eu dychymmygol ddedwyddwch, heb feddwl ar ba sail ansicr yr oedd eu gobaith am happusrwydd yr amser i ddyfod wedi ei adeiladu.

Ar fyr dro ar ol hyn, ymddygiad Caligula a roddodd brawf amlwg o fod dynolryw yn ddarostyngedig i ffurfio cam-farnau, a dilyn mesurau cyfeiliornus. Y tywysog hwn a ddirywiodd gymmaint oddiwrth y siampl odidog a roddodd o hono ei hun yn y rhan foreuol o'i deyrnasiad, ag y daeth yn anghenfil melldigol o orthrymder a chreulondeb.

Yr oedd i'r ymerawdwr Tiberius ŵyr, etifedd ei fab Drusus, a'r ŵyr hwn a dderbyniasai yr enw Tiberius; a Caius Caligula ydoedd nai yr ymerawdwr, o fab ei frawd Germanicus. Trwy wneuthur dewisiad yn hytrach o hono ef na Tiberius ieuangc, enwyd ef gan yr ymerawdwr i gymmeryd ei le yn yr ymerodraeth, ar yr ammod o fod iddo gydnabod ei rwymedigaeth mawr am ei ddyrchafiad i'r orsedd trwy ddangos parchedigaeth a gofal tros ei gâr ieuangc. Ond Caligula, yn lle ei feddiannu â diolchgarwch am y dyrchafiad, trwy fabwysiad, i'r sefyllfa oruchel pa un ag oedd gan Tiberius hawl i'w mwynhau, trwy rinwedd ei enedigaeth, a aeth ym mlaen yn ei ddiddynoliaeth i'r fath ormodedd, ag i beri marwolaeth ei gâr agos, tan yr esgus o ddarfod iddo ymrwymo mewn cyngrair i'w ddifeddiannu o'i fywyd. Oedran tyner Tiberius oedd yn brawf digonol fod y cyhuddiad a wnaethpwyd i'w erbyn wedi ei sylfaenu ar yr annhebygolrwydd mwyaf. Y farn gyffredin ydoedd, mai pe buasai Tiberius ychydig o flynyddau yn hŷn, y sicrhasid ef gan ei daid yn yr ymerodraeth; yr hwn hefyd a dybiwyd y buasai yn symmud ymaith Caligula, yn erbyn pa un yr oedd eisoes wedi cynnwys gradd o eiddigedd.

Caligula a arferodd y moddion canlynol ynghyflawniad ei amcan melldigedig yn ninystriad Tiberius ieuangc, yr hwn a ddylasai, yn ol cyfiawnder cyffredin, gydgyfrannogi âg ef yn llywodraethiad yr ymerodraeth. Rhoddodd wŷs i Tiberius ymddangos o'i flaen, ac a alwodd gyngor ynghyd o'i gyfeillion, wrth y rhai yr areithiodd yn y dull canlynol: "Tu ag at y dyn

ieuangc hwn (gan feddwl Tiberius) nid wyf yn unig yn cynnwys y parch sydd ddyledus iddo fel un o garennydd agos, ond yr wyf yn ei gyfrif megis brawd; ac nid oes dim a ddymunwn yn fwy na chaniattau rhan gydraddol iddo yn y llywodraeth, mewn cydsyniad â gorchymmyn ei daid yn ei ewyllys diweddaf. Ond och! yr ydym yn gwybod yn dda fod ieuengctyd ac ambrofiad yn anghyf i bwys gofalon llywodraeth. Oedran tyner Tiberius sydd yn ei wneud yn angenrheidiol ei osod ef tan ofal golygwr. Oni byddai gan hynny yn arwydd o anghallineb mawr i feddianu y dyn ieuangc ag awdurdod i arferyd llywodraeth ar eraill. Ond fel y mae'r amser o'i fywyd yn rhwystr, buaswn yn llawen yn rhannu'r ymerodraeth â Tiberius; trwy'r hyn y buaswn yn esmwythau fy hun oddiwrth un rhan o'r swydd lafurus o reoli cynnifer o genedlaethau, a pheri llai o niweid yn y perygl yr wyf yn wastadol yn ddarostyngedig iddo, sef suddo tan faich y gweinidogaethiad cyhoeddus. Mor fawr yw fy serch tu ag at Tiberius, a'm bod yma yn ymrwymo fy hun i'w dderbyn fel mab, i'w amddiffyn a'i addysgu, ac yn ffyddlon i ymddwyn fy hun tu ag atto yn lle tad a llywodraethwr; a dalier sulw, ei fod o'r funud hon i gael ei ystyried megis tan fy ngolygiad a'm cyfarwyddyd neillduol i."

Yr ymadroddiad dichellgar hwn a weithredodd mor gryf ar y gwrandawyr, ag i symmud oddi ar y ffordd bob rhwystr i amcan Caligula yn erbyn y tywysog ieuangc gael ei gyflawni. I effeithio'r hyn a fwriadasai, gan hynny, nid oedd iddo yn unig ond cyhuddo Tiberius o fod yn elyn, ac ymddwyn ei hun tu ag at y dyn ieuangc fel y cyfryw. Yn fyr, y dull hwn o ymddygiad a gymmerodd tu ag atto, ac ni feddiannodd ddim tosturi oblegid tynerwch oedran ei gâr ieuangc, na'r amgylchiad o'i fod yn adnabyddus iddo o'i flynyddau boreuaf, uchel-fraint ei enedigaeth, a'i ddygiad i fynn fel etifedd dyledus i'r orseddfaingc. Ar farwolaeth Drusus, Tiberius a ystyrid yn hytrach yn fab nac yn ŵyr yr ymerawdwr.

Adroddir am Caligula, mai, i'r diben i gyflawni ei amcan creulon tu ag at Tiberius, ddarfod iddo ei orchymmyn i fod yn ddihenyddwr iddo ei hun o flaen nifer o dribuniaid a chanwriaid, y rhai a waherddid iddynt i fod yn gynnorthwywyr iddo yn y weithred. Ac esgus y gorthrymwr barbaraidd ar yr achos hynny ydoedd, y profai yn ammharch i'r mawredd ymerodrol os tywelltid gwaed neb o'r teulu hwnnw ond gan ddwylaw brenhinol eu hunain. Y tywysog ieuangc diniweid, eithr annedwydd hwn, heb fod erioed yn dyst o dywalltiad gwaed, a ddinoethodd ei wddf o flaen yr edrychwyr, gan erfyn ar rai o honynt i roddi terfyn ar ei fywyd: ond hwy oll a ommeddasant gydsynio; mewn canlyniad i'r hyn y cymmerodd ddagr neu gleddyf bychan, ac a ddymunodd gael ei gyfarwyddo ym mha ran o'i gorph y trywanai ei hun ag ef, fel y byddai debyccaf i ddiweddu ei hun ar fyr amser. Hwythau a'i dysgasant pa le i ergydio atto ei hun; ac efe yn y fan a ddilynodd eu cyfarwyddyd, gan ddyblu ei frathiadau tra'r oedd ei nerth yn parhau. Fel hyn y darfu i greulonder Caligula yrru Tiberius, yn eithafoedd anobaith, i ddwyn ymaith ei fywyd ei hun.

## PENNOD II.

WEDI darfod dinystrio Tiberius, yr hwn a olygodd fel yr unig berson ag oedd debyg o gydymdrechu ag ef am uchelfraint y llywodraeth, Caligula a feddyliodd nad oedd neb yn aros yn awr â digonol allu i godi plaid yn ei erbyn, neu ei aflonyddu yn yr ymarferiad o'i lywodraeth orthrymus: ac fe benderfynodd i Macro, blaenor llû y Pretoriaid, fod yn wrthddrych nesaf ei greulondeb a'i anniolchgarwch.

Yr oedd Caligula yn ddyledus i Macro am lawer o wasanaeth pwysig ar ol ei ddyrchafiad i'r orsedd. A phan oedd Caligula yn aros mewn sefyllfa neillduedig, fe dderbyniodd amryw arwyddion o gyfeillgarwch oddiwrth Macro; a thrwy ei offerynoldeb ef, yn bennaf, yr ynnillwyd Tiberius i enwi Caligula ar ei ol yn ben yr ymerodraeth Rufeinaidd.

Megis yr oedd yr ymerawdwr Tiberius yn un o brofiad hir yn y byd, ei synwyr yn fawr, a'i ddealltwriaeth yn dreiddgar, bernir yn ganlynol ei fod yn dra adnabyddus o dueddiadau calon dyn; ac yn wir nid ydoedd yn y pwngc hwn islâw neb yn ei amser. Fe ystyriodd Caligula fel yn gwbl anghyfartal i'r swydd bwysig o lywodraethu ymerodraeth mor ehang; gan ei farnu, oddiwrth anghysondeb ei eiriau,

a'i weithredoedd, ynghyd ag ysgafnder cyffredin ei ymddygiad, yn anghymmwys i ymdrin â materion oedd yn gofyn difrifwch a gofal mwyaf yn eu cylch: ac, yn fyr, mor anwadal ac ansicr oedd ei ymddygiad, ag i feddiannu pobl â meddyliau ei fod, i ryw raddau, yn lloerig.

Wedi dangos ei ffyddlondeb at Caligula, trwy ganiattau ei gynnorthwy iddo amryw weithiau, pan ydoedd gyfyng arno, a'i fywyd mewn enbydrwydd, Macro a gymmerodd yn ganiattaol fod ei gymmwynasau iddo yn ei awdurdodi i lefaru wrtho gyd â mwy o ryddid nag a fyddai yn gyson â sefyllfa neb arall. O herwydd hyn yr ydoedd yn awyddus i ragflaenu Caligula rhag rhoddi lle i ymarferiad a fyddai o ganlyniadau niweidiol, ac i warchod ei feddwl rhag ei lygru gan esiampl a hudoliaethau eraill: ac ar yr achos yma ei ymddygiad oedd â rhyw debygolrwydd ynddo i grefftwr celfyddgar, yr hwn fydd ofalus i gadw ei ddodrefnyn mewn cyflwr parhaus o berffeithrwydd.

Y modd hwn, gyd ag amcan i beri diwygiad yn ei fuchedd, y darfu i Macro roddi chynghorion llesol i Caligula; yr hwn yn lle derbyn budd oddiwrth yr hyn a fwriadwyd er ei wellhad, a drodd gynghor caredig Marco yn wenwyn marwol, ac a ddirywiodd etto i radd fwy o annuwioldeb. Y difrifwch a'r rhyddid gyd â pha un yr ymddygodd Macro a barodd ei ddirmygu gan yr ymerawdwr, yr hwn o'r diwedd a orphenodd ei lwyr ddinystrio. Caligula a fagodd gasineb gwreiddiol ac anymbilgar yn erbyn Macro; a phan ganfyddai ef yn nesâu tu ag atto, arferai lefaru yn watworllyd a dirmygus am dano, wrth y rhai a fyddai o'i amgylch.

Gelyniaeth Caligula a barodd i gynnyddu yn feunyddiol, ac fe gyrhaeddodd o'r diwedd i'r fath radd uchel ag y penderfynodd aberthu bywyd Macro i'w falais a'i ymddial. Yn awr fe fyfyriodd pa foddion a gymmerai i gyflawni ei amcan echryslon; a phenderfynodd godi achwyniaeth yn erbyn Macro, heb ofalu a fyddai ganddo wirionedd yn sail iddo. Tra'r ydoedd yn troi hyn yn ei feddwl, daliodd ar ymadroddion a arferid yn achlysurol gan Marco, pa rai a ddychymmygodd y gallai eu cymmeryd yn sail o gyhuddiad i'w erbyn. Y geiriau canlynol o'r eiddo Marco, y rhai a arferai yn achlysurol mewn cwmpeini, a benderfynodd yn sail i'w gyhuddiad. "Caligula sydd ymerawdwr o'm gwneuthuriad fy hun; a'r rhwymedigaethau ag sydd ddyledus arno i mi, ydynt fwy na'r hyn a berthyn i'w dad. Teirgwaith y bwriadodd Tiberius ei roddi i farwolaeth, ond cyn amled yr arferais i eiriol trosto, trwy'r hyn y llareiddiai digofaint yr ymerawdwr ac yr arbedid bywyd y dyn ieuangc. Ar ol marwolaeth Tiberius rhoddais i fynu i Caligula y llu Pretoriaidd, ar ba un yr oeddwn yn blaenori, gan eu cynghori i roddi manwl ufudd-dod iddo ef, a'u rhybuddio na allai'r ymerodraeth gael ei chadw yn gyfa ac mewn perffaith ddiogelwch, oddieithr i'r awdurdod bennaf fod ym meddiant un person."

Amryw bersonau a roesant dystiolaeth ddarfod i Macro, yn eu presennoldeb, lefaru yn gymmwys i'r pwrpas hwnnw; ond y bobl hyn oeddynt yn hollol anwybodus o feddyliau bradychus Caligula. Yn fyr, wedi i ychydig ddyddiau ar ol hynny fyned heibio, Caligula a fu'n achos o farwolaeth Macro a'i wraig. Dyma'r ymddygiad anniolchgar a'r barbariaeth a gafodd Macro yn wobr am achub bywyd Caligula, ei ddyrchafu i'r orsedd, a gwneuthur iddo lawer o wasanaeth arall. Fe ddywedir orfod i Macro derfynu ei fywyd ei hun; a'i wraig gael ei darostwng i'r un erchyllwaith, er y gyfeillach anghyfreithlon a ddywedid fod rhyngddi â Caligula. Dygwyd ei greulondeb hwn ym mlaen hefyd mor bell ag i beri marwolaeth i'r holl ddynion o deulu Macro.

Y creulon a'r bradychus Caligula wedi cyflawni llofruddiad Tiberius, a darostwng Macro a'i holl deulu i'r un cyffelyb ddiwedd, yn daledigaeth am amddiffyn amryw weithiau ei fywyd,. ac yn y diwedd sicrhau iddo ddilyniad i'r orsedd; efe yn awr a fyfyriodd am drydydd orchestwaith, cwblhad yr hyn a olygodd megis yn gofyn y cyfrwysdra a'r deheurwydd mwyaf.

Marcus Sylanus, tad-ynghyfraith Caligula, oedd yn un o wrolder mawr, o feddyliau haelionus, ac o dylwyth arddechog. Ei ferch a fu farw ym moreuddydd ei bywyd; ond efe a barodd i ddangos yr un caredigrwydd, os nid yn helaethach nag o'r blaen, tu ag at Caligula, heb ammeu na ddychwelid yr un caredigrwydd a pharch iddo yntef; canys yr ydoedd yn hollol anwybodus, ac yn ddifeddwl am fwriadau mal-

eisus ei fab-yngbyfraith tu ag atto. Fel yr oedd Sylanus yn un o dymmer rydd a diragrith, efe yn fynych a lefarai wrth Ciligula ynghylch moesau a materion gwladol; gan ei annog i lywodraethu yn uniawn ac yn gyfiawn, ac arwain bywyd diwaradwydd, fel yr unig foddion effeithiol i atteb y gobaith oedd gan y bobl o fwynhau bywyd o ddedwyddwch, tan dywysog, yr hwn a roesai siampl eisoes o'r cymmwysderau yr oedd yn ei feddianu i wneuthur iawn arfer o'r awdurdod ymerodrol. I'r rhyddid hwn o ymadroddi yr oedd hawl, mewn rhyw raddau, gan Sylanus o herwydd ei raddau, a'i berthynas i'r ymerawdwr: a chan ei fod etto tan ddwfn deimlad o alar am farwolaeth ei ferch, fe dybiodd na fyddai i'w rybuddion cyfeillgar gael eu cymmeryd fel achos o dramgywydd, gan nad oedd bosibl, mewn amser mor fyr, i'r ystyriaeth o berthynas mor agos gael ei ddilëu o feddwl Caligula.

Efe, pa fodd bynnag, wenhieithodd iddo ei hun fod ei gallineb, ei gymmedrolder, a'i uniondeb, ynghyd a'i gynneddfau eraill, yn ei wneuthur i ragori mor fawr, a'r na ellid chwanegu at ei berffeithrwydd; ac yr oedd yn orchwyl o berygl mawr i gynnyg cyngor da a ffyddlon iddo, yr hyn a gymmerai efe yn ammharch ac yn waradwydd, tra fyddai yn arwyddo y posiblrwydd o ddiwygiad; ac oddi yno y cyfrifai ei gyfeillion ffyddlonaf yn elynion pennaf iddo. Magodd ynddo ei hun y casineb mwyaf at Sylanus, gan ei fod yn croesi ei afradlonedd a'i nwydau anllywodraethus. Ei elyniaeth a gynnyddodd i'r fath raddau, fel y bwriodd oddi wrtho bob coffadwriaeth parchedig am ei ddiweddar wraig, ac a benderfynodd ynghylch llofruddiad Sylanus, yr hwn yn ddiamheuol a brofasai yn dad-ynghyfraith tyner a chyfaill mwyaf ffyddlon.

Marwolaeth Sylanus a ddilynwyd â marwolaethiad amryw o wŷr mwyaf yr ymerodraeth; ac wedi i newyddion am y marwolaethau hyn gael eu taenu ym mhlith y cyffredin, hwy a'u gwrandawsant gyd â rhyfeddod, casineb, a dychryn; ond hwy a gelasant eu barnau am hyn, rhag tynnu arnynt eu hunain ddial y gorthrymwr. Amryw o'r bobl, pa fodd bynnag, ag ydoedd o dymherau anwadal, ac yn ddarostyngedig i gymmeryd eu twyllo, ni fynnent gynnwys y meddyliau o fod tywysog a ddangosasai yn ddiweddar arwyddion mor neillduol o ddynoliaeth, cymmedrolder, haelioni, a hynawsedd, trwy gyfnewidiad mor ddisymmwth wedi dyfod yn fath orthrymwr gwaedlyd a didrugaredd; a thrwy hyn hwy a ymdrechasant i amddiffyn y cyflawniadau a fuasai yn euog o honynt. Yr oeddynt wedi eu rhagfeddianu â meddyliau mor ffafrus o'r blaen am y tywysog hwn, fel na chredent y gallai ymddwyn yn y fath fodd ag y byddai achos beio arno; ac nad oedd bosibl wedi amlygu ei hun yn rhagori mor fawr mewn siamplau o ddaioni tywysogion eraill, y dirywiai trwy gyfnewidiad mor ddisymmwth, ar yr ochr arall, i eithafoedd o ddrygioni a chreulonder.

## PENNOD III.

LLOFRUDDIAETH greulon Tiberius, Macro, a Sylanus, a olygwyd gan Caligula fel cynnifer o fuddugoliaethau ar y gelynion pennaf oedd ganddo yn yr ymerodraeth. Marwolaeth Tiberius oedd yn ei ryddhau oddi wrth bob petrusder ymherthynas i ymryson am y teyrnasiad; esmwythasid arno ynghylch y filwriaeth, trwy fod Macro, yr hwn oedd ag awdurdod mawr arnynt, wedi ei symmud ymaith yn effeithiol; ac fe farnodd ei hun yn berffaith ddiangol ymherthynas i'r senedd, mewn canlyniad i farwolaeth Sylanus, yr hwn oedd â hawl nid bychan yn, ac a fuasai yn un o addurniadau pennaf y dyrfa anrhydeddus honno. Gan hynny, wedi effeithio dinystr pob un o'r personau a dybiodd a fyddai yn rhwystr i gyflawniad diderfyn ei afradlonrwydd, fe wag-amcanodd gymmeryd iddo ei hun yr anrhydedd a'r ufudd-dod a ddangosid i'r gau-dduwiau: ac i beri boddlonrwydd iddo ei hun â'r dychymmyg ofer-wag hwn, fe ymresymmodd yn y dull canlynol:—"Gan nad yw y rhai sydd ag awdurdod ar anifeiliaid y maes, megis bugeiliaid ac eraill, yn eifr, defaid, nac ychain, ond a ydynt yn rhywogaeth tra gwahanol, gan eu bod yn greaduriaid wedi eu cynnysgaeddu â chynneddfau rhesymmol, ac yn anfeidrol yn rhagori, ym mhob golygiad, ar y creaduriaid mudion tan eu gofal; ar yr un egwyddorion yr ydys yn barnu fod gan bennaeth y byd cyfaneddol hawl uniawn i dderchafiad tu hwnt i gyrhaeddiad natur ddynol, ac i ofyn

parchedigaeth dyledus i dduwdod."

Ond a ellit ddychymygu, O Caligula! y byddai i'r creulonderau echryslon a fuost yn euog o honynt, a gorthrymder anghydmarol dy deyrnasiad yn foddion i'th ddwyfoli? A oeddit yn chwennychu bod yn anfarwol fel y bydd i ti yn dragywydd ddarostwng dynolryw i ofidiau a thrallodion, y rhai oedd eisoes wedi eu hamgylchu? Onid oes pob rheswm i gredu, pe dercheflt ti i gyflwr duwdod y byddai i'th ormodol ddrygioni dy ddiswyddo a'th ddarostwng tan awdurdod marwolaeth? Oblegid os gall rhinweddau mawrion gyfnewid dyn yn dduw, fe ganlyn, o angenrheidrwydd, y dichon beiau erchyll ddarostwng un tan enw o dduw i gyflwr o farwoldeb. Na fydded i ti yn hwy, gan hynny, gydmaru dy hun â'r bodau ardderchog o Castor a Pholucs, y rhai a haeddent eu mawr berchi am eu tiriondeb a'u cyfeillach brawdol; pan y darfu i ti yn fradwriaethus gymmeryd ymaith fywyd tywysog diniweid, yr hwn yr oeddit yn rhwym i'w feithrin gyd â'r gofal a'r tynerwch o garedigrwydd brawdol: ac na ddisgwyl yr anrhydedd a delid i Bacchus a Hercules, y darfu i'w teilyngdod rhagorol eu dyrchafu i wrthddrychau o barchedigaeth cyhoeddus; gan dy fod ti yn hollol amddifad o egwyddor o rinwedd ac anrhydedd.

Meddylir y bydd yr hyn a adroddwyd eisoes yn ddigonol i brofi nad oedd gan Caligula un hawl resymmol i gael ei enwi ym mhlith yr isdduwiau, neu rai o oruwch raddau. Fe ragorodd ar bob tywysog arall mewn cam-ddefnydd o'i awdurdod; ymroddodd i gyflawni pob math o chwantau; ei ystyfnigrwydd ydoedd yn anwrthwynebol, a'i awydd bydol yn haeddu yr enw o wallgofrwydd.

Yr Iuddewon, y rhai o'r blaen a fwynhasent y dedwyddwch mwyaf, a brofasant yn chwerw effeithiau anarferol ddrygioni Caligula. A hwy yn bobl wedi eu haddysgu gan eu rhieni a'u hathrawon mewn manwl ymlyniad wrth athrawiaeth yr ysgrythyrau sanctaidd, dyledus sylw ar gyfraith natur a chrediniaeth am hanfod namun un Duw, Tad, Creawdwr a Chynhaliwr yr holl fyd; yr ymerawdwr a ddychymygodd y byddai yr egwyddorion ag oeddynt mor gyttun yn eu proffesu yn eu tueddu o naturiaeth i wrthsefyll ei amcanion ef. Ond ni ddisgwyliodd yn yr hyn lleiaf am wrthwynebiad o un lle arall, canys yr oedd pawb o bobl eraill, er gruddfan o honynt yn feunyddiol tan bwys ofnadwy ei lywodraeth orthrwm, a gaeth-addefent addasrwydd ei ymddygiad, pa mor wrthwyneb bynnag ydoedd i farn eu meddyliau, ac a'i gwnaethant ef yn destyn eu molawd afradlon, ac wrth hynny chwanegu ei ofer wagedd a'i ryfyg anghymmedrol.

Yn gydsyniol â thuedd y gorthrymwr atgas, amryw o'r Rhufeiniaid a gyd-unasant yn eu cynhygiad o'r dirmyg mwyaf i ryddid eu gwlad, trwy ddwyn i'r ymerodraeth y dull o addoliad a arferid gan genedlaethau barbaraidd. Ond Caligula a ddeallodd mai, yn hytrach na gwneuthur trais i ddefodau crefyddol eu gwlad, y byddai i'r Iuddewon yn siriol roddi i fynu eu bywydau, gan feithrin crediniaeth gadarn o'u trosglwyddiad i ardaloedd tragywyddoldeb. Os bydd un garreg mewn adeilad wedi ei chamosod, gall y rhan arall ymddangos yn gadarn ac mewn dull parhaol; ond effeithiau amser a ddaw i'r golwg yn raddol, a'r holl adeilad a syrth i ddinystr anamserol: felly pob peth sydd o bwys mawr ag sydd yn perthyn i addoliad yr Hollalluog. Caligula oedd euog o'r cabledd mwyaf erchyll, trwy gymmeryd arno ddyrchafu dyn yn dduw anfarwol: fe fuasai yn wir yn fwy esgusodol, pe ymdrechasai i gyfnewid duwdod yn greadur marwol. Fe agorodd ffordd i ddwyn i mewn bob math o anniolchgarwch a didduwiaeth tu ag at Greawdwr y byd, bendithion haelionus pa un a gyfrennir yn barhaus ym mysg ei greaduriaid mewn mesur diderfyn,

Y cyfryw oedd yr achos o'r rhyfel anrhugarog a ddilynwyd gyd â'r fath ddinystr yn erbyn pobl yr Iuddewon. Ni all gweision fod mewn sefyllfa mwy peryglus neu anhappus, na phan fyddont yn wrthddrychau o gasineb sefydlog eu meistri. Deiliaid ymerawdwyr ydynt yn ddiddadl eu caeth-weision: mor bell oeddynt yn awr oddiwrth barhau mewn cyflwr o ddedwyddwch a fwynhasant tan dywysogion o'r blaen, fel yr oedd sefyllfa druenus y bobl wedi dyfod yn annioddefol tan arglwyddiaeth orthrymus yr ymerawdwr Caligula. Yr oedd efe yn hollol ddieithr i bob teimlad o dosturi a dynoliaeth, ac a ddiddymodd bob gosodiadau cyfreithlon, megis pethau hollol goel-grefyddol,

gan ei fod yn penderfynu na chymmerai un cyfarwyddyd arall i'w ymddygiad ond ei ewyllys cyfeiliornus ei hun. Yr Iuddewon ydoedd y bobl yn erbyn pa rai yn fwyaf neillduol y cyfeiriodd ei ddial: fe'u darostyngwyd hwynt i amgylchiad mwyaf caethiwus a thruenus a ddarfu erioed waradwyddo y natur ddynol; ac am hynny yr oedd ganddynt reswm digonol i achwyn yn drwm arno, am ei warthus esgeulusdra i weithredu fel tad cyffredin ac amddiffynwr ei ddeiliaid: ac fe wrthunodd y sefyllfa bendefigol trwy brofi ei hun yn anghenfil ffieiddiaf o orthrymder a drygioni.

## PENNOD IV.

TRIGOLION Alexandria wedi cael gwybodaeth am gasineb anghymmodlon Caligula tu ag at yr Iuddewon, yr hyn oedd yn amlwg oddiwrth y mesurau gorthrymus a arferodd yn barhaus tu ag attynt, hwythau a gyd-fradwriaethasant, gan benderfynu gwneuthur pob chwanegiad ag oedd bosibl at flinderau y bobl anhappus hyn, y rhai oeddynt eisoes yn barod i suddo tan bwys erledigaeth annioddefol. Ein gelynion oeddynt mor lliosog, a'r ddrwg driniaeth a gawsom ganddynt a arferent mor gyhoeddus, fel yr ymddangosodd megis pe buasai yr ymerawdwr wedi annog y rhai oedd yn llafurio i gwblhau ein dinystr. Ein hanneddau a dorrwyd, a gwŷr, gwragedd, a phlant a yrrid allan o'u preswylfeydd, a'r gelynion a gymmerent yn yspail yr holl bethau o werth a allent ddyfod o hyd iddynt. Nid oedd ein gorthrymwyr yn cynnwys yr ofn lleiaf o gael eu cymmeryd a'u gwneud yn attebol i gyfiawnder, ac am hynny ni cheisient arfer dim moddion i guddio eu drwg weithredoedd, ond a aethant ym mlaen i'w cyflawni wrth liw dydd; a'u digywilydd-dra ydoedd yn gyfryw, ag y dangosent gyd ag ymffrost i'w gilydd yr eiddo a gawsent i'w meddiant. Amryw o'r rhai a ffurfiasent eu hunain yn bartïon, ac a gyttunasent i rannu yn gydradd rhyngddynt yr yspail a yunillent, a ymgynhullasant i'r farchnadfa i drefnu yr eiddo ym mysg eu gilydd, a'u cyhoeddi ar werth i'r sawl a'u prynent; a'r perchennogion a gaent fod yn dystion o'r farchnadyddiaeth gamweddus hon, y rhai a ddirmygid gan y sawl a safent o'u hamgylch.

Yr ydoedd yn amgylchiad trallodus a thra anghyssurus, i bobl gyfoethog o raddau uchel, i gael eu troi yn ddisymmwth allan o'u trigfanau, eu darostwng i'r tlodi mwyaf, a myned yn grwydraid ar hyd y byd, yn llwyr amddifad o foddion i gael angenrheidiau perthynol i'w cynhaliaeth: ond etto trueni mwy na hyn ydoedd i ganlyn. Y gelynion creulon hyn a gauasant i fynu amryw filoedd o'n pobl, gwŷr, gwragedd, a phlant, mewn lle cyfyng, fel anifeiliaid yn y ffald; ac fel yr oeddynt yn wâg o ymborth, disgwylid iddynt ddarfod ar fyr amser, un a'i o ddiffyg lluniaeth neu trwy afiechyd yr awyr.

Y bobl druenus wedi cyfyngu arnynt yn y dull rhagddywededig, fel na allent fyw o ddiffyg cynhaliaeth ac awyr iachus, rhai o honynt a ffoesant at lan y môr, eraill i'r anialwch a lleoedd anghyfanedd, a rhai i fynwentydd: a'r cyfryw a anturient aros yn un rhan o'r ddinas, heblaw y lle bychan a grybwyllwyd, ymosodid arnynt gan eu gelynion â chwl-brenau, cerrig, pridd-feini, ac arfau angheuol eraill: a'r rhai a ddeuent yn achlysurol i'r ddinas heb wybod am y cythrwfl, a dderbynient yr un driniaeth. Gwyliadwriaeth fanwl a gadwyd ar y lle cul o'r ddinas ag oedd â'r bobl druain wedi eu cyfyngu ynddo; a'r rhai a ddelid wrth geisio diangc ymaith a roddid i farwolaeth ar ol dioddef yr arteithiau llymmaf.

Rhifedi mawr o'n gelynion a sefydlasant eu hunain ar geulennydd yr afon, mewn trefn i orddiwes y marsiandwyr Iuddewig a ddeuent i fasnachu yn Alexandria. Gwnaent dân o'r prennau perthynol i'r llongau, a bwrient y masnachwyr yn fyw iddo, a chymmerent eu heiddo yn yspail. Iuddewon eraill a ddioddefasant etto mewn modd creulonach ynghanol y ddinas, lle'r oedd manwydd wedi eu parottoi yn lle ysgyrion; y tanwydd a gynneuid, a'r dynion annedwydd a fwrid i'w llosgi. Amryw o'n pobl a lusgid trwy'r heolydd, ac ar draws y farchnadfa wrth raffau: ac mor annyhuddol oedd cynddaredd ein gelynion, fel, ar ol eu rhoddi i farwolaeth, hwy a ddarnient eu cyrph ac a'u sathrent tan draed, heb adael dim rhannau o honynt ynghyd, a gyfrifid yn deilwng o gladdfa.

Fel y gallent fyned ym mlaen a'u hamcanion barbaraidd gyd â mwy o ddiogelwch, cyfrifas-

ant yn anghenrheidiol i arferyd y callineb mwyaf o wenhieithio a pherswadio gogyfer ag ynnill ffafr yr ymerawdwr; a chyd â golwg ar hyn hwy a aethant rhagddynt yn y drefn ganlynol: ni ddarfu i'r terfysgwyr anturio llosgi yr areithfaoedd, o herwydd gwylio arnynt gan bartïon cedyrn o'r Iuddewon, â pha rai yr oeddynt yn barnu yn beryglus iddynt ymryson. Ond gyd â bwriad i aflonyddu ein haddoliad crefyddol, cynnygient ammharch i'n cyfraith sanctaidd; ac, ar yr un amser i gymmeradwyo eu hunain gyd â'r ymerawdwr, hwy a benderfynasant osod ei ddelw i fynu yn yr holl fannau o gyfarfodydd crefyddol a'r na ddinystriasent.

Deg brenin a deyrnasodd yn yr Aipht tros yspaid tri chant o flynyddau; yn oed pa amser ni chafodd llun neu ddelw ei chyssegru i un o honynt; ac er cydnabod o'r cyffredin nad oeddynt fwy na dynion, etto hwy a'u gosodent ym mhlith nifer y duwiau, ac a ymddygent tu ag attynt gyd â'r parch a'r anrhydedd a ddangosent i'r dwyfolion. Ond mater yw hwn na phâr lawer o ryfeddod, gan mai eu harfer hwy ydyw rhoddi addoliad i'r crocodil, nadrodd, adar, anifeiliaid, pysgod, a chreaduriaid eraill; a chan fod temlau, allorau, a llwyni, wedi eu cyssegru i amryw greaduriaid, i'w gweled yn aml yn holl barthau'r Aipht.

Amgylchiadau'r Iuddewon oeddynt mor llwyddianus tan arglwyddiaeth Tiberius a than yr eiddo Augustus, er darfod i Sejanus arferyd ei holl ymdrech i ddifetha'r cyfryw o'n pobl ag oedd yn aros yn ninas Rhufain, trwy eu henllibio wrth yr ymerawdwr. Yn fuan ar ol marwolaeth druenus Sejanus, Tiberius a amlygodd fod yr hanesion a ddanfonasid iddo y'mherthynas i'r Iuddewon heb sail wirioneddol iddynt, ac wedi eu bwriadu i atteb un diben arall, ond i'w annog ef i ddigofaint yn eu herbyn, o herwydd i Sejanus eu cael yn bobl a wrthwynebodd yn rymmus ei ddrwg-amcan o ddwyn ymaith fywyd ei dywysog. Ar hyn Tiberius a ddanfonodd orchymmyn yn uniongyrch at raglawiaid yr amryw daleithiau, yn erchi iddynt ymddwyn gyd â thynerwch tu ag at yr Iuddewon, oddigerth rhyw ychydig oedd gyfrannog o'r bradwriaeth gyd â Sejanus; ac na fyddai i ddim aflonyddwch gael ei wneuthur iddynt yn eu hymarferiadau crefyddol; oblegid ei fod ef yn eu hystyried hwynt fel pobl a'r nad oedd eu cyfreithiau, eu bywydau, a'u hymddygiad mewn un modd yn wrthwyneb i osodedigaethau'r llywodraeth, neu yn niweidiol i'r llonyddwch cyhoeddus.

## PENNOD V.

CALIGULA ydoedd mor ofer-wag a dychymmygu fod yr Alexandriaid yn ddiau yn credu am dano fel un o'r duwiau; canys hwy a'i perchent ag ymarferiad o'r ffurfiau arferedig yn nefodau crefyddol eu gwlad: ac yr oedd y fath olygusrwydd yn eu harferiad, fel na allai'r ymerawdwr ganfod y gwahaniaeth rhwng gwir a gau-addoliad. Wedi ei ynfydu y modd hwn, fe ystyriodd y parchedigaeth a delid iddo gan y bobl, a'r cyssegr-ledrad a wnaethant yn yr areith-dai, neu'r lleoedd o addoliad, fel y profiadau eglur o'u mawr zêl a'u serch tu ag at ei berson: ac ni allai'r gynghanedd odidoccaf neu historiäu fod yn fwy cymmeradwy ganddo na'r cyfrif a dderbyniodd yn feunyddiol o'r hyn a gyflawnid yn Alexandria mewn perthynas i'r materion hyn. Yr hyspysrwydd a drosglwyddid gan rai o wŷr ei dylwyth ei hun, y rhai oeddynt dra chymmwys i foddhau tueddiadau eu meistr: canys hwy a ganmolent yn ddirfawr pa beth bynnag a gymmeradwyai, ac a feient mor danbaid ar bob peth a ddangosai wrthwynebrwydd tu ag atto. Y gwŷr hyn o'i dylwyth oeddynt yn bennaf yn Aiphtiaid, yn bobl wael a dirmygedig ym mhob ystyriaeth: wedi eu haddysgu o'u mebyd yn yr ymarferiad ffiaidd o dalu addoliad i nadrodd ac i'r crocodiliaid.

Y pennaf o'r bobl hyn oedd Aiphtiad, a'i enw Helico, dyn o enedigaeth wael, ac egwyddorion drygionus; yr hwn a weithiodd ei hun i fewn ffafr yn y llys, trwy ymarferiadau anghyfiawn. Helico a gyrraeddasai ryw fesur o ddysgeidiaeth pan oedd mewn amgylchiad caethwas i'w feistr cyntaf, gan yr hwn a cyflwynwyd ef i'r diweddar ymerawdwr Tiberius Cæsar. Ond y tywysog hwnnw hyd yn oed yn y rhan gyntaf o'i fywyd, ydoedd o ymddygiad difrifol, ac yn wastad yn dueddol i edrych ar faterion di bŵys yn ddirmygedig, ac oblegid hynny ni wnaeth ddim cyfrif o Helico, yr hwn a olygodd yn rhy wag a chellweirus. Ar farwolaeth Tiberius, a dilyniad Caligula i'r swydd ymerodrol,

Helico a lwyr ymroddodd i gyfaddasu ei hun at dueddiadau ei feistr newydd, yr hwn a ddaliodd sulw ei fod yn dywysog wedi ei hollol roddi i fynu i afreolus chwantau a nwydau llygredig. Ymarferodd ei hun yn wastadol i ymdrechu i gyffroi Caligula yn erbyn yr Iuddewon: ni ofalodd am amserau cyfaddas; ond pa un bynnag ai dydd neu nos, fe gyfarfyddai â'r ymerawdwr yn ei fannau dirgelaf, gan ddyfeisio pob moddion i chwanegu ei gasineb tu ag at ein cenedl ni.

Wedi i'r cenadwyr a apwyntiasid gan bobl Alexandria ddeall fod Helico yn un ag a allai wneuthur gwasanaeth mawr iddynt, hwy a arferasant bob moddion ag oedd bosibl i'w ynnill o'u tu hwynt; i ba ddiben anrhegasant ef â swmmau helaeth o arian, gan addaw ei anrhydeddu ymhellach ar ddyfodiad yr ymerawdwr i Alexandria, ym mha le y disgwylid ef ar fyr amser; ac efe a ymrwymodd i gyflawni eu dymuniadau.

Y moddion o amddiffyn ein hunain yn erbyn ein gelynion oedd yn awr yn llenwi ein meddyliau, fel na amheuasom, yn yr hyn lleiaf, nad oedd mesurau yn cael eu myfyrio er ein llwyr ddinystr gan elyn dirgelaidd ymherson Helico. Ond wedi cael amlygrwydd fod y dyn hwn yn llawn o ragfarn tu ag attom, nyni a ymdrechasom hyd yr eithaf, trwy weniaeth a'r cyfryw foddion ag a farnasom debyccaf i brofi yn effeithiol, i'w dueddu i fod o'n hochr, gan ei ystyried ef yn un ag oedd â chennym reswm i ofni y niwed mwyaf oddi wrtho. Gwrthddrych pennaf ei feddwl ydoedd effeithio dinystr yr Iuddewon; ac i'r pwrpas hwn fe'n henllibiodd â'r chwerwder mwyaf barbaraidd, ond mewn dull ymadrodd mor foddhaol ag a ddifyrai yr ymerawdwr. Yn fyr, y dyfeisiau a arferodd efe a brofodd mor ffynnadwy, fel na ellid eu dileu o feddwl Caligula.

## PENNOD VI.

WEDI llafurio yn ddyfal hyd eithaf ein gallu i ynnill Helico i fod o'n plaid, ac wedi profi y siommedigaeth fawr o'i gael yn ddyn o dymmer drahaus, ac mor anhawdd i agoshau atto, fel nad oedd bosibl cael gwrandawiad ganddo, nyni a dybiasom yn angenrheidiol i geisio ymwared trwy foddion eraill. Barnwyd yn addas i goffadwriaeth cyhoeddus o'n hachos gael ei gyflwyno ger bron yr ymerawdwr, yn gosod allan y gormesiad oedd arnom, a deisyf ei nodded ef. Pan oedd y brenin Agrippa yn myned i Syria ryw ychydig o amser o flaen hyn, fe orphwysodd yn Alexandria, a'r pryd hynny gwnaethom ein hamgylchiad yn hyspys iddo ef. Wedi hynny nyni a ymadawsom ac a gychwynasom tu a Rhufain, gan feithrin y gobaith o gael Caligula yn dwysog haelionus ac yn farnwr uniawn. Ond nyni a dwyllwyd yn druenus yn ein dychymygion; a phrawf tost a'n hargyhoeddodd ei fod yn cynnwys gelyniaeth mwyaf tu ag at bobl ein cenedl. Derbyniodd ni ym maes Mars, yn agos i'r Tyber, gan ddarnguddio gwir feddyliau ei galon, trwy ein cyfarch gyd â hynawsedd ac ymddangosiadol ewyllys da, trwy arwyddo â'i ddeheulaw fod i ni gyflawn groeso; a chan ddanfon Homulus, arweinydd cennadyddion, fe hyspysodd i ni, y byddai i'n hachos ar y cyfleustra cyntaf, gael ei ystyried yn gwbl. Oddiwrth yr amgylchiadau hyn fe feddyliwyd, nid gan yr Iuddewon yn unig, ond gan bawb eraill ag oedd bresennol, y llwyddai ein cennadwri hyd eithaf ein dymuniad.

Yr oeddwn i wedi cael yr anrhydedd o'm gosod yn flaenor y genadwriaeth oddi wrth Iuddewon Alexandria at yr ymerawdwr Caius Caligula: y profiad a'r gwybodaeth ag oeddwn wedi ei gael o'r byd a'm galluogodd i ochel barnu wrth ymddangosiad arwynebol; ac am hynny, yr hyn oedd yn peri boddlonrwydd i eraill a barodd i mi eiddigeddu, a dywedyd yn y dull canlynol, "Onid yw yn beth dieithr, er bod cennadwri wedi dyfod yng hyd yma o holl gyrrau'r byd, ein bod ni yn unig yn cael gwrandawiad? Oni ŵyr Caligula mai Iuddewon ydym, ac na allwn, gyd â rheswm, ddisgwyl yr anrhydedd a wrthodir i bobl eraill? Byddai yn wir yn radd o wallgofrwydd ynom, pe byddem i ddisgwyl ffafr ac amddiffyniad oddi ar law tywysog ieuangc o wahanol genedl i'r eiddom ni, ac o wrthwyneb egwyddorion i'r hyn a broffeswn i. Y mae'n ddiddadl ei fod yn cynnwys pleidgarwch tu ag at yr Alexandriaid." Fy meddwl a gymmerwyd i fynu gymmaint â'r myfyrdodau hyn, fel na's gallwn gymmeryd esmwythder ddydd na nos: ond blinderau chwan-

egiadol oedd etto i ddyfod. Dygwyddodd amgylchiad arall a rag-ddangosodd lwyr ddadymchweliad y genedl Iuddewig, ac yr oeddwn yn awr wedi gwasgu yn drwm arnaf gan drallodion.

Nyni a ganlynasom yr ymerawdwr i Puteoli, i ba le yr aethai i'r pwrpas o awyr iachusol glan y môr, a difyru ei hun â golygiad o'r palasau ac adeiladau mawrwych eraill oedd yn y gymmydogaeth honno. Arosasom mewn disgwyliad beunyddiol o alwad i gael ein gwrando, a gofidiau mwyaf arnom rhag i'n herfyniad gael ei wrthod: ac o'r diwedd fe'n cyfarchwyd gan ddyn ag oedd yn grynedig, ac wedi myned allan o anadl yn y fath fodd a'i fod ar y cyntaf yn analluog i lefaru. Fe giliodd ychydig o'r neilldu fel na chlywid ef gan ddieithriaid, y rhai oeddynt yn bresennol; ac yna â llais isel fe lefodd, "Gwrandewch! ai ni chywsoch y newyddion dychrynllyd?" Fe ymdrechodd i fyned ym mlaen; ond fe dorrodd allan i dywallt dagrau, ac a ydoedd yn analluog i ddywedyd ychwaneg o eiriau. Wedi gorphwys ychydig, fe ymdrechodd drachefn i lefaru, ac a fynych gynhygiodd wneuthur hynny, ond ei lais mor fynych a rwystrwyd trwy'r un achos. Yr oeddym yn synnu yn fawr tu ag at y gwrthddrych hwn, ac a ddeisyfiasom yn daer ar y dyn i hyspysu i ni yr achos o'i gyffroad; gan ddywedyd na allem feddwl yn amgen, wrth yr hyn a sylwiasom, na ddaethai attom gyd â bwriad i ŵylo o'n blaen; ac os oedd ganddo achos o alar mawr, y byddau i ni, y rhai a arferid i dristwch beunyddiol, uno ag ef yn ei alarnad a'i wylofain. O'r diwedd fe wnaeth ymegnïad arall i lefaru; ac wedi llawer o ddagrau ac ocheneidiau, ac ymadroddion gofidus, fe ddywedodd, "Ein teml sydd yn anocheladwy ar fin cael ei dinystrio; canys yr ymerawdwr a ddanfonodd orchymmyn pendant am i'w ddelw, â'r enw Jupiter yn argraphedig arni, i gael ei gosod i fynu yn y cyssegr sanctaidd." Y newydd hwn a weithredoedd mor gryf ar y rhai oll a'i clywodd, ag ynghylch eu hymddifadu o'u nerth a'u synhwyrau; ac ar fyr amser ni gawsom gadarnhad o'r gwirionedd o hono. Yn awr ni gauasom arnom ein hunain mewn ystafell, lle y cydgwynfanasom i'n gilydd oblegid amgylchiad galarus ein hachosion.

Pan orchymynasom ein hun i drugaredd y cefnfor tymhestlog, wedi ymrwymo mewn mordaith beryglus yn amser gauaf, mewn gobaith o ryddhau ein hunain o erledigaeth a gorthrymder annioddefol, ni ddisgwyliasom am y fath dymmestl ddychrynllyd ag a gyfarfuasom ar dir. Tymhestloedd y gauaf, a holl gyfnewidiad tymhorau, a ddigwyddant yn ol trefniadau natur, ac ydynt i'w hystyried fel gweithrediadau Rhagluniaeth, wedi eu bwriadu er lleshad dynolryw; ac am hynny y maent nid yn unig i ymgynnal tanynt, ond i ymostwng iddynt yn siriol.

Y dymmestl a berir yn awr sydd â thywysog ieuangc, awyddus, a gorthrymus yn achos o honi; a'r hwn sydd mor wag o bob egwyddor rinweddol, fel nad yw yn tebygoli i ddynoliaeth mewn dim, ond yn y ffurfiad allanol: ac y mae i'w ystyried yn elyn mwy peryglus, tra y mae holl rym yr ymerodraeth tan ei awdurdod, ac na ellid rhoddi dim terfyn i'w ormesiad annioddefol. Y gwr a feiddiai wneuthur trais i'r deml gyssegredig, yr hon, fel yr haul yn y ffurfafen, sydd yn amlwg i'r holl fyd, ac a gyfrifir mewn parch cyffredinol, a raid ei fod yn gallu pob math o ddrygioni, ac fe fyddai yn ynfydrwydd mwyaf i ddisgwyl iddo ef, ar un achos, amlygu ei hun yn gymmwynaswr dynolryw.

Yr adroddiad rhagflaenol a'n gofidiodd yn fawr, fel na allem fod yn deimladwy o boen mwy llym pe brathasid ni â chleddyfau. Cynghorwyr melldigedig Caligula, pa fodd bynnag, ni fuont byw yn hir nes derbyn gwobr eu ffiaidd ddrygioni. Apeles wedi ei ddal a'i roddi yn y carchar, a rwymwyd â chadwynau trymion, ac a osodwyd ar brydiau tan yr arteithiau llymaf, fel yr estynid ar ei ddioddefiadau, ac o'r diwedd a fu yn achos o'i farwolaeth. Helico a osodwyd i farwolaeth wrth orchymmyn Claudius, yr hwn a ddilynodd Caligula yn yr ymerodraeth.

## PENNOD VII.

YR ymerawdwr yn awr a ddanfonodd orchymmyn at Petronius, rhaglaw Syria, i osod i fynu a chyssegru ei ddelw yn nheml Jerusalem; a phob rhyw ragocheliad a ddodwyd i mewn yn yr archiad, rhag i'r amcan bradwriaethus fethu cael ei gyflawni. Gorchymynodd i Petronius rybuddio hanner y fyddin oedd yn gorwedd

wrth yr afon Euphrates, i'r diben i wrthwynebu y brenhinoedd a'r cenhedlaethau dwyreiniol, os digwyddai iddynt wneud rhuthr, neu gynnyg rhyw anturiaethau eraill; a'u defnyddio i wylio'r ddelw: nid oedd amcan Caligula, pa fodd bynnag, i wneud un ymddangosiad o ddifrifwch yn y ddefod o'i chyssegriad; ond fel y byddai nifer ddigonol o filwyr gerllaw i ddifetha y cyfryw o'r Iuddewon ag a anturiai wrthwynebu y weithred ryfygus hon.

Y gorchymmyn a dderbyniwyd oddiwrth Caligula a suddodd Petronius mewn amgylchiad trallodedig. Yr ydoedd yn ystyriol o'r perygl mawr a ganlynai'r gwrthodiad o gydsynio â gorchymmyn yr ymerawdwr, neu'r oediad lleiaf o'i ddwyn o amgylch; ac yr ydoedd yn berffaith deimlo os ymroddai i gydsyniad, y cyfarfyddai o angenrheidrwydd ag aneirif anhawsderau, gan y gwyddai fod yr Iuddewon yn bobl, y rhai ni fyddai i ddim ystyriaethau ddarostwng yr yspryd o wrthwynebiad grymmus ganddynt, pan fyddai eu crefydd mewn perygl o gael ei threisio. Mae yn naturiol i drigolion pob gwlad fod yn eiddigeddus rhag cyfyngu eu defodau a'u rhagorfreintiau, ond yr Iuddewon ydynt yn hynottach am hynny na neb o breswylwyr y glôb. Maent yn ystyried eu cyfreithiau fel oraclau a draddodwyd iddynt gan yr Hollalluog; hwy a ddysgir o'r dechreuad yn yr angenrheidrwydd o dalu ufudd-dod manylaf iddynt. Eu harfer yw caniattau i ddieithriaid a ddeuent yn broselytiaid i'w crefydd gyflawn fwynhad o'r holl ragorfreintiau o rydd ddinasyddion; ac yn fyr, mor barchus yw eu gofal am eu hyfforddiadau crefyddol, fel yr ymadawent yn gynt â'u bywydau na bod yn euog o wneuthur y trais lleiaf i'w dyledswydd. Ni all fod prawf cadarnach o'u mawr ofal tros eu parch i'r deml, na'r gyfraith ag sy'n barnu dyn i farwolaeth yn ddidrugaredd yr hwn a feiddia fyned i mewn i'r cyssegr: ond i bob rhannau eraill yr adeilad, yr Iuddewon o amryw daleithiau a ganiatteir iddynt fynediad i mewn.

Y gorchymmyn a dderbyniasai i osod i fynu ddelw yr ymerawdwr yn nheml Jerusalem, a brofodd yn flinder mawr i Petronius, yr hwn yn ofidus a drodd y peth yn ei feddwl, ac a ystyriodd amrywiol achosion cyn penderfynu yr hyn oedd iddo i'w wneuthur. Meddyliodd pa fath aneirif liaws oedd yn cyfansoddi corph y genedl Iuddewig; pobl, nid fel eraill, yn preswylio mewn rhyw dalaith neillduol, ond wedi eu gwasgaru trwy holl barthau'r byd; yn yr ynysoedd yn gystal ag ar y cyfandir; ac yn fath liaws, fel y tybid, eu bod yn gydradd mewn rhifedi a'r holl breswylwyr eraill.

Petronius ydoedd hefyd yn ystyriol o'r perygl oddiwrth y lluoedd o filwyr oedd yn aros tu hwnt i'r afon Euphrates, yn Babilon, ac amryw daleithiau eraill; y rhai yn sicr oeddynt mewn cadarn ymlyniad wrth achos yr Iuddewon. "Y bobl hyn (eb efe) a drosglwyddiasant eu casgliadau, y rhai a alwant y trysor cyssegredig, i deml Jerusalem, tan enw blaen-ffrwythau: ac mor fawr yw eu zêl tros yr achos, er cymmaint y perygl a'r anhawsdra o'u trosglwyddiad, ni buont un amser tan amheuaeth na chyrhaeddai'r trysor yno mewn diogelwch. Wedi cael hyspysrwydd o gyssegriad delw Caligula, y mae pob rheswm i gredu yr ymarfogant ac y deuant i'r maes yn ddioed; ac yna rhaid i ni ddisgwyl iddynt ein hamgylchu, ac aberthu ein bywydau i'w hymddïal."

Wedi myfyrio yn y modd uchod, y rhaglaw a droes ei feddwl at duedd ac ymddygiad Caligula. "Yr ymerawdwr (eb efe) sydd ddyn ieuangc o dymmer wyllt a chreulon. Nid oes ganddo ddim syniadau o ddynoliaeth a chyfiawnder, nac un cyfarwyddyd i'w ymddygiad ond ei feddwl gorthrymmus ei hun; a'i falchder, ei drahausdra, a'i ryfyg ydynt mor fawr, a'i fod yn awyddus i gael ei wahaniaethu fel duwiolaeth. Pa un a wnelwyf a'i cydsynio neu anufuddhau i'w orchymmyn, rhaid i'm bywyd fod yn y perygl mwyaf. Trwy gydsyniad, gwnaf fy hun yn ddarostyngedig i beryglon rhyfel; y canlyniad o ba un, fel y gwyddis, sydd yn ansicr: ond marwolaeth ddioed a raid fod y canlyniad anocheladwy a anufudd-dod."

Mewn trefn i ochelyd cynddaredd yr ymerawdwr, yr hyn a ofnasant a ddisgynai arnynt fel cosp am eu hanufudd-dod i'r gorchymmyn pendant ymherthynas i gyssegriad y ddelw; y swyddogion Rhufeinig y rhai oedd gynnorthwywyr yn llywodraethiad Syria, tan Petronius, a gyngorasant ymrwymo mewn rhyfel, fel mesur mwyaf angenrheidiol. Ond fe brofodd yn amgylchiad tra dedwydd fod i'r amser o barottoad

y ddelw yn caniattau cyfleusdra i ddwys ystyriaeth; canys ni ddanfonasid gorchymmyn am drosglwyddiad y ddelw o Itali, neu wneuthur defnydd o'r peth goreu a ellid ei gael yn Syria. Fel hyn yr ymddangosodd megis pe buasai rhagluniaeth yn gweithredu o du pobl Dduw: canys pe na ddigwyddasai yr oediad, y rhyfel a gymmerasai le cyn i ni wneuthur y parodrwydd angenrheidiol gogyfer â'r trallodion dychrynllyd â pha rai y bygythid ni.

Wedi ffurfio'r ymröad o ddwyn i ben orchymmyn yr ymerawdwr, Petronius a ddanfonodd i Phœnicia am y celfyddydwyr cywreiniaf i ddyfod atto; ac wedi eu dyfodiad, fe gyd-ymgynghorodd â hwynt y'mherthynas i'r gwaith ag oeddynt i'w gymmeryd yn llaw: i'r hwn waith fe'u diwallodd ag arfau a defnyddiau o bob math; ac a apwyntiodd Sidon megis y lle yn yr hwn yr oeddynt i gyflawni'r gorchwyl. Fe ddanfonodd hysbysiad o'r bwriadol gyssegriad at yr archoffeiriaid, y blaenoriaid, a'r pen-swyddogion, a gwŷr enwog eraill ym mysg yr Iuddewon, gan eu hannog i ufudd-dod parod i'r ymerawdwr, fel yr unig foddion i ochelyd y blinderau gofidus a raid ddigwydd mewn modd amgen: gan chwanegu, os dangosent wrthwynebiad, marwolaeth a dinystr a orfyddai yn eu holl agwedd dychrynllyd: canys gorchymmyn pendant a ddanfonasid at y lluoedd o Syria i arfer tân a chleddyf i osod yr holl wlad yn anghyfanedd, os byddai i'r Iuddewon wneud y cynhygiad lleiaf i rwystro cyssegriad y ddelw yn eu teml. Petronius a aeth ym mlaen yn y modd uchod, gan obeithio y gallai berswadio y bobl bennaf i foddloni i'r mesur, ac y byddai'r lliaws yn barod i ddilyn eu siampl hwynt: ond yr ydoedd yn cael ei dwyllo yn fawr yn y disgwyliad hwn. Wedi rhoddi arwydd o hyn i'r bobl, fe'u tarawyd â syndod ac â dychryn annhraethadwy; eu gofid oedd mor fawr a chymmeryd ymaith eu gallu i ymadroddi; a hwy a ŵylasant i'r fath radd, fel yr oedd eu dagrau yn llifo tros eu hwynebau: eu nwydau a ddaethant yn fwy tanbaid, a hwy a rwygasant y gwallt neu'r blew oddi ar eu pennau, a'u barfau, a thrwy weithredoedd anghymmedrol eraill, hwy a ddangosasant eu bod ym min gwallgofi. O'r diwedd, wedi iddynt adferu eu dawn ymadrodd, rhoddasant eu llef allant yn y dull canlynol: "Och, mor fawr yw ein hanfortun, trwy ddarfod i ni fyw i weled y blinderau hyn, o'r rhai ni fedrasai ein tadau ffurfio y dychymmyg lleiaf! Ond ni fydd i ni fyth ymostwng i fod yn dystion truenus o halogiad ein teml sanctaidd: canys yn hytrach nag edrych ar yr annuwiol ffieiddra, nyni a ymddifadwn ein hunain o offerynau ein golwg; ac ar yr un pryd a roddwn derfyn ar ein hauffodiad."

Yr ymroddiad uchod yn fuan a gyrhaeddodd Jerusalem, ac a gerddodd o amgylch holl wlad Judea; a'r Iuddewon, megis o un fryd gan adael eu dinasoedd, trefydd, castelli, a llefydd eraill o drigfan, a ymgaslasant eu hunain yn un corph, gan gyfeirio eu taith tu a Phœnicia, mewn trefn i wneud eu cŵyn wrth Petronius. Ar ymddangosiad y fath dyfra ddirifedi o bobl, cyfeillion Petronius a'i cymmellasant ef i fod yn ystyriol o'i ddiogelwch; gan chwanegu, fod byddin gref yn dyfod i'w oddiweddu; canys ni feddyliasant fod yn bosibl y gallai'r Iuddewon yn unig wneuthur y fath dyrfa ddirifedi.

Ar agoshad yr Iuddewon yn nes attynt ymddangosasant fel yn gorchuddio yr holl dir o amgylch cyn belled ag y cyrhaeddai'r golwg; ond yr oeddynt yn hollol amddifad o arfau i ymosod neu amddiffyn. Yr awyr a ddadseiniodd â chri ac â llefau mwyaf arswydus; a'r adsain a barhaodd hir amser wedi iddynt hwy ddistewi. Wedi hynny hwy a arferasant y fath weddiau taer, ac ymbiliau y rhai a farnwyd yn addas ar yr achos trist a galarus. Y bobl annedwydd yma a drefnasant eu hunain yn chwe' rhes; yr hen wŷr, y gwŷr ieuaingc, a'r bechgyn, yn gwneuthur tair rhes ar un ochr; yr hen wragedd, y rhai canol oed, ynghyd a'r merched ieuangc a'r genethod, yn llenwi y tair ar yr ochr arall: ac yn y drefn yma yr aethant ymlaen.

Wedi dyfod i olwg Petronius, yr hwn, mewn trefn i'w derbyn, a safodd ar uchelfa, hwy a fwriasant eu hunain ar y ddaear, etto yn cadw yn eu rhesau yn y modd trefnusaf; ac yn ymddwyn eu hunain ymhob ystyriaeth yn gysson â'u proffes, ac mewn amgylchiad taer ymbilwyr. Eu bod tan wasgfeuon mawr o drallodion, eu holl ymddygiadau oedd yn dangos trwy'r cyffröad yr oeddynt ynddo, ac undeb anarferol eu galarnadau, fel pe gweithredid arnynt gan yr

un meddwl. Y rhaglaw, neu'r llywodraethwr, a orchymynodd iddynt gyfodi, a dyfod yn nes atto; ond y fath ydoedd eu gostyngeiddrwydd, fel nad heb yr anhawsdra mwyaf y gallent berswadio eu hunain i gyd-synio. O'r diwedd, pa fodd bynnag, hwy a gyfodasant, ac a aethant yn nes at Petronius, a hwy mewn sachliain a lludw, eu llygaid wedi eu trochi â dagrau, a'u dwylaw yn rhwymedig y tu ol iddynt, yn debyg i garcharorion tan farn condemniad: ac un o'r seneddwyr, yn enw yr holl bobl, a lefarodd wrth y rhaglaw mewn geiriau cyffelyb i'r hyn a ganlyn:

"Gwelwch, bendefig awdurdodol, y bobl anedwydd y rhai ydynt yn awr yn ymddangos eu hunain o'ch blaen; rhag tybied ein bod ni â chennym fwriadau rhyfelgar, yr ydym wedi dyfod yn hollol ddiarfog, ac hyd oed yn ein dwylaw tan rwymau; felly nyni yn wirfoddol a ymddifadasom ein hunain o bob gallu i wneuthur defnydd o arfau, ac yr ydym yn ymostwng ein hunain yn gwbl i'ch trugaredd chwi. Nyni a adawsom ein trigfanau, ac a ddygasom gyd â ni ein gwragadd a'n plant, a'n teuluoedd oll, i uno mewn ymbiliau â'r ymerawdwr, trwy weithrediad Petronius, i ganattau i ni waredigaeth cyffredinol, neu od lefi ni syrthio mewn cyffredinol ddinystr. Yr ydym ni, o naturiaeth, yn bobl heddychlon; a'n mantais, yn gystal a'n tuedd, yw cynnwys meddyliau tangnefyddol; canys yr ydym yn gwybod ein bod trwy hynny, yn mwynhau manteision tra llesol.

Wedi i'r newydd gael ei anfon i Vitellius, eich rhagflaenor yn llywodraeth Syria, yr hwn y pryd hynny oedd yn aros yn Jerusalem, mewn perthynas i ddyrchafiad Caligula i'r orsedd, yr oeddym ni yn rhai cyntaf o bobl yr holl wledydd yn tystio ein gorfoledd ar yr achos, ac yn cyd-lawenychu ag ef oblegid ei ddilyniad i'r mawredd ymerodrol; a thrwy'r moddion o honom ni y bu i'r newyddion o'i ddyrchafiad gael eu danfon mor gyflym trwy amryw ddinasoedd a lleoedd eraill. Ein teml oedd y lle cyntaf ym mha un y bu i addunedau ac aberthau gael eu hoffrymmu tros estyniad einios a llwyddiannus deyrnasiad yr ymerawdwr newydd. A all fod yn gyfiawn, ynte, i ni fod yn gyntaf, os nid yr unig bobl i fyrhau ar y rhagorfraint o arferyd ein dyledswyddau crefyddol, yn ol y ffurfiau y rhai, er's amryw oesoedd, a arferasom yn ein teml sanctaidd? Ein trigfanau, ein dodrefn, a'n holl feddianau eraill, yn gyhoedd ac yn neillduol, o ba enwau bynnag, yr ydym yn barod i'w rhoddi i fynu i'ch dwylaw; ac ni a'i gwnawn yn dra ewyllysgar, gan gyfrif ein hunain yn ennillwyr wrth roddi i fynu ein heiddo. Nid ydym yn unig ond yn ceisio eich cydsyniad ag un ammod; yr hyn yw, bod i'n teml gael ei chadw oddiwrth halogiad. Goddefwch i ni barhau yn y mwyniant o'n rhagorfreintiau crefyddol, megis ag y traddodwyd hwy i ni oddiwrth ein hynafiaid, ac ni fydd gennym un gofyniad arall i'w wneuthur. Ond os penderfynwch wrthod ein herfyniad ar y pen hwn, ni a ddymunwn yn daer arnoch ein bwrw i golli ein bywydau; canys nyni a fedrwn ymostwng i'r farwolaeth fwyaf poenus gyd ag anfeidrol fwy boddlonrwydd, nag i dreisiad ein cyfreithiau cyssegredig.

Byddin liosog a grymmus sydd barod i orddiwes y cyfryw o'n pobl ag a anturiant wrthwynebu cyssegriad delw yr ymerawdwr: ond nid ydym ni mor anystyriol ac ammhwyllog a lletŷa y dychymyg lleiaf o gynnyg gwrthwynebu ein meistr cyfreithlon. Dichon y milwyr ymosod arnom a'n torri yn ddrylliau, heb osod eu hunain mewn unrhyw berygl; canys, boed sicr i chwi, na fydd i ddim gwrthwynebiad gael ei wneuthur o'n rhan ni. Yr ydoedd yn afreidiol galw allan y fath fyddin nerthol i ladd ein pobl, y rhai ni fydd iddynt, ar un ystyriaeth, gynnyg amddiffyn eu bywydau. Nyni a gyflawnwn swyddau ein hoffeiriaid; ac wrth aberthu, ein hoffrymmau a fydd ein gwragedd, ein meibion, ein merched, ein brodyr, a'n chwiorydd; ac yn y fath drueni eithaf ni bydd yn ddrwg gennym beri yr enw o laddwyr dynion, gwragedd a phlant; ac wedi darfod tywallt gwaed cynnifer o bobl ddiniweid, ein gorchwyl nesaf a fydd difeddiannu ein hunain o fywyd, gan gymmysgu ein gwaed â'r eiddo ein cyfeillion. Ein heinioes a ddiweddwn gyd âg erfyniad at yr Hollalluog na fyddo iddo ddigio wrthym am yr ymddygiad pa un y gyrrwyd ni iddo gan awdurdod yr ymerawdwr, ac o barch i gyfreithiau a chrefydd ein gwlad. Fel hyn yr ymddygwn, os bydd gennym rinwedd digonol i barhau yn yr ymroddiad o gynnal bywyd mewn diystyrwch, trwy gadwedigaeth pa un y golygai pob dynion

da eu hunain yn cael eu difuddio.

I fod yn wrthddrychau o anfoddlonrwydd eu tywysog, sydd yn anhap mwyaf a all ddisgyn ar bobl. Goddefwch i'm, Petronius, i ofyn gennych ddychymmygu yn eich meddwl amgylchiad ein pobl ni wrth fod yn edrychwyr ar gyssegriad delw yr ymerawdwr yn y deml sanctaidd, (ond y cyfryw waith na adawer fyth ei gyflawni gan y Nefoedd!): Oni feddyliech y byddai i'r fath olwg ofidus fod yn ergyd marwol? Eu llygaid a safent yn eu tyllau gan syndod a braw; natur a gai y fath ergyd ag y byddai i holl swyddau bywyd gael eu hattal.

Nid ydym mewn un modd am arwyddo ein chwennychiad i gael ein rhyddhau oddiwrth ein cyfreithlonrwydd i'r ymerawdwr: yr ydym yn taer ymbil ar i chwi beidio a'n taflu i'r radd eithaf o gyfyngder, ond rhoddi i ni amser, a'ch cydsyniad chwithau, i osod ein cyflwr o flaen yr ymerawdwr Caligula, trwy gyfryngdod y fath genhadwyr ag a enwom i ddadleu trosom. Fe allai fod yn bossibl i'r ymerawdwr gael ei berswadio i ganiattau rhyddid i ni i fyw mewn manwl gydymffurfiad â'r cyfreithiau ac â'r gosodiadau crefyddol a draddodwyd i ni gan ein hynafiaid: ac fe ymddengys fod rhyw reswm i obeithio na wrthodir ein herfyniad, gan fod rhagorfreintiau cydradd yn cael eu caniattau i bobl o genhedlaethau eraill yn ddilysiant. Ein hamlygiad o'r cyflwr a ddichon, ysgatfydd, dueddu'r ymerawdwr i ystyried ein cwynfanau wrtho gyd â golygiad ffafriol. Ni ellir meddwl fod meddyliau tywysogion yn ammhosibl o gyfnewid; nid yw meddu'r awdurdod frenhinol yn gwneuthur y galon yn anymbilgar; digter ymerawdwyr a brenhinoedd, fel yr eiddo pobl eraill, yn sicr a ddichon roddi lle i leihad neu lwyr symmudiad ymaith. Fe barwyd rhagfarn mawr tu ag attom ym meddyliau'r ymerawdwr trwy enllib drwg-ddynion, a gwradwyddiadau anhaeddianol. Caniatewch i ni, gan hynny, wneuthur cyfiawnder â ni ein hunain, wrth osod o'i flaen y gwirionedd; fel na'n barner yn euog cyn ein gwrando yw'r holl ffafr yr ydym yn ei ofyn. Bwrier ei fod yn ammhosibl i ni lwyddo gyd â'r ymerawdwr i gydsynio â'n dymuniad, ni fydd i'n hymdrechiadau ei ddifuddio o allu i ddwyn ei amcan i weithrediad. Ac yn awr fel y tynom at ddiwedd, nyni a daer-ddeisyfwn ar fod i chwi estyn eich tosturi a'ch haelioni mor bell ag i roddi caniattad i ni i ddanfon cenadwriaeth i ddadleu achos pobl drallodedig o flaen yr ymerawdwr Caligula. Trwy ommeddiad chwi ddiflenwch obaith y llu aneirif hyn o bobl, bywyd pa rai sy'n ymddibynnu ar ganlyniad yr achos presenol Caniattewch i mi chwanegu, nad oes genym un golwg ar hunan-fantais wrth ein gofyniad presennol, ond fe'n cymhellir iddo yn gwbl ar yr ystyriaeth o dduwioldeb; ac nad ydym ni yn meddwl chwanegu ein budd a'n lleshad ein hunain ymhellach nag y mae yn gyssylltedig â llwyddiant ein crefydd.

## PENNOD VIII.

Petronius, yr hwn oedd o dymmer hynaws a thosturiol, a gyffrowyd yn fawr â'u hareithiad, megis yn wir y gwnaeth pawb a'u gwrandawodd; a'u tyner gyd-ymdeimlad oedd amlwg oddiwrth eu hwynebpryd, eu hagwedd, ac, yn fyr, oddiwrth eu holl ymddygiad. Y rhaglaw ydoedd ŵr o gymmedrolder mawr, a chyfaill diysgog i, a dadleuwr tros y gwirionedd, anrhydedd, a chyfiawnder. Fe ystyriodd y deisyfiad a wnaethpwyd gan yr Iuddewon megis yn berffaith resymmol; a chydymdeimlodd â hwynt megis rhai yn llafurio tan flinderau tra awchlym.

Mewn ymddiddan â'r personau appwyntiedig i gynnorthwyo Petronius yn y llywodraeth, fe sylwiodd, fod tanbeidrwydd y rhai a gynhwysai y rhagfarn drymmaf yn dechrau llaccâu, a'r cyfnewidiad hwn ni pharodd iddo ychydig radd o foddlonrwydd. Yr oedd Petronius yn berffaith adnabyddus o dymmer farbaraidd ac anfaddeugar yr ymerawdwr: ond efe a ymddygodd ei hun megis pe buasai yn cael ei gynhyrfu gan dduwiol barch i grefydd yr Iuddewon. Fel yr ydoedd yn ŵr o ddysg, ysgatfydd fod ei wybodaeth yn ei alluogi i fod yn un o farn gywir, neu fe allai ei fod yn cael ei ogwyddo i ffafru ein pobl ni trwy rywiogrwydd ei dymmer naturiol; trwy'r hyspysrwydd a gafodd wedi ei osodiad yn llywodraeth Asia a Syria, lle mae'r holl drefydd ag amldra o breswylwyr Iuddewig ynddynt; neu trwy farn uniawn â pha un y mae'r Hollalluog yn ysprydoli pobl rinweddol, er daioni iddynt eu hunain

a'r cyffredin: a'r peth diweddaf hwn a ymddengys fod yn wir ar yr achos presennol.

Gorchymmyn a roddwyd i'r cerfwyr i ddefnyddio eu cywreinrwydd eithaf y'ngwneuthuriad delw yr ymerawdwr: ni archwyd iddynt arfer brŷs, ond i gymmeryd amser digonol i wneuthur prawf amlwg o odidowgrwydd eu celfyddyd; canys gwaith byrbwyll sydd yn anfynych yn rhoi boddlonrwydd, ac ar fyrder a gyfrifir yn ddiddim. Petronius a ystyriodd mai wrth ddanfon cennadau at Caligula, y byddai i'r Iuddewon roddi eu hunain yn agored i drugaredd tywysog gorthrymus a dialgar: a thrwy roddi cydsyniad i, neu naccâd i'w deisyfiad, y byddai'r canlyniad yn gydradd annedwyddol: ac am hynny fe ddilynodd fesur a ymddangosodd yn debyg o ragflaenu'r perygl ar bob tu. Fe ddanfonodd lythyr at Caligula, ym mha un y gadawodd o'r neilldu grybwyll yr hyn a wnaethai'r Iuddewon, ond a foddlonodd ei hun ar sylwi, mai'r hîr oediad o gyssegru y ddelw oedd i'w gyfrif yn hollol i'r yspaid o amser ag oedd y celfyddydwyr yn ei ofyn i orphen darn o waith ag a fyddai deilwng o'r hyn ei bwriadwyd. Y modd yma y darfu i Petronius weithredu gyd â golwg i ynnill amser; ac fe obeithiodd y byddai i Caligula, yn yr un pryd, newid ei amcan; canys a hwn yn dymmor medi'r cynhauaf, yr oedd rheswm i feddwl os gyrrid yr Iuddewon i anobaith trwy halogi'r deml, y gyrrid hwy i hollol ddifatterwch ynghylch eu bywydau, a phob matterion eraill; y gosodent eu hŷdau, a ffrwythau eraill y ddaear, ar dân, megis yn ddïal am ddiddymiad eu cyfreithiau, a'u defodau crefyddol eraill. Mewn trefn i ragwilio y niweid a ddychymygwyd, Petronius a gymmerodd achlysur yn brydlon i gasglu'r ffrwythau, a pheri i'r ŷd gael ei fedi; ac efe a dueddwyd mewn rhan i'r mesurau hyn trwy ddymuniad i arlwyo cynhaliaeth gogyfer a'r diffyg a allai ddilyn.

Ar yr amser hwn, daeth sôn o amgylch fod Caligula yn bwriadu myned i Alexandria a'r Aipht; ond yn wir, nid oedd yn ymddangos yn debyg fod yr ymerawdwr, gyd â thyrfa mor fawr o bobl ag oedd beunydd yn ei amgylchu, am ddodi ei hun yn agored i beryglon mor-daith mor faith, tra y gallai, gyd â llawer gwell cyfleusdra a diogelwch, fyned yno trwy dueddau Asia a Syria; canys, trwy ddilyn y llwybr diweddaf, gallai gael y fantais o ymdaith ar dîr, neu forio, yn ol ei dueddiadau. Bu yn angenrheidiol i ddiwallu yr amrywiol drefi yn Syria â llawndra mawr o ymborth, yn enwedig y rhai oedd a'u sefyllfa ar làn y môr, ar gyfrif y torfeydd mawrion o bobl a ddaethant i'r wlad honno o bob rhan o'r byd. Y llïaws oedd gynnwysedig o gyfoethogion a gwŷr dyrchafedig, blaenoriaid byddinoedd a llyngesau, swyddogion gwladol, a phersonau o bob gradd: a rhifedi gwasanaeth-ddynion ydoedd agos gymmaint a'r milwyr. Y bobl hyn nid oeddynt i'w diwallu yn y cyfryw fodd ag oedd angenrhaid yn unig er cynhalïaeth bywyd; ond a oeddynt i'w digoni â'r fath helaethrwydd a gormodedd ag a gyfattebai i fawredd a rheolti yr ymerawdwr.

Y tŷb cyffredinol ydoedd, y byddai i'r llythyr gyfarfod â chymmeradwyaeth yr ymerawdwr, ac y canmolai y mesurau câll a ddilynwyd gan Petronius, a'r oediad o gyssegru a gosod i fynu y ddelw yn y deml; er na ddisgwylid i'r ymddygiad cymhedrol hwn darddu oddiwrth ddim tynerwch a'i meddiannai tu ag at yr Iuddewon; ond yn unig oddiwrth yr ystyriaeth o fod i'r ŷd a'r ffrwythau gael eu sicrhau, yr hyn a fyddai yn fantais nid bychan. Gan hynny, wedi i'r llythyr gael cyflawn gymmeradwyaeth, fe ddanfonwyd cenhadwr i'w ddwyn yn ofalus, a chyd â'r cyflymdra mwyaf i'r ymerawdwr.

Ar ddarlleniad y llythyr oddiwrth Petronius, lliw wynebpryd yr ymerawdwr a giliodd, ei lygaid a aeth yn dân, a'i agwedd oedd yn amlygu y cynddaredd a'r digofaint mwyaf; a chan guro ei ddwylaw ynghyd, fe lefodd allan yn grôch yn erbyn Petronius, fel y canlyn:

"A ydyw'r peth felly, Petronius? Ai ni ddysgasoch etto ufuddhau i'ch meistr? Yr ydych yn ymddangos fel yn dychymygu, mai am na fynwch ymostwng i'r ymerawdwr, fod yn rhaid i'r ymerawdwr ymostwng i chwi. Y meddiant o sefyllfa anrhydeddus ac uchelradd a'ch dyrchafodd i'r fath dymmer ofer-wag ag yr ymddengys ddarfod i chwi anghofio fod y fath ddyn mewn bod a Chaligula: ond fe fydd i fyr amser eich argyhoeddi o'ch erchyll gamsyniad. Nid yw'r byd yn cael ei gyfanneddu âg un math o bobl mor elyniaethol i mi a'r Iuddewon; ac er hyn oll, eich dymuniad i achub

cyfreithiau a defodau y bobl hyn sydd yn anfeidrol fwy na'ch gofal i roddi dyledus ufudd-dod i orchymmyn eich cyfreithlon dywysog. Yr ydych yn golygu fod perygl ar gyfrif y nifer mawr o bobl ag sy'n cyfansoddi y genedl Iuddewig: ond y ddychymmyg sydd ffôl ac ofer-wag; canys y mae gennych tàn eich llywodraeth fyddin ddigonol i wrthsefyll holl luoedd brenhinoedd Parthia, ac unol awdurdodau y dwyrain. Meddylier eich bod yn teimlo tosturi tu ag at yr Iuddewon; onid ydych, er hynny, yn dra beïus, trwy oddef i'r tynerwch cam-osodiadol hwnnw orchfygu'r ddyledswydd sydd rwymedigol arnoch i'ch tywysog a'ch meistr? Yn esgus tros eich anufudd-dod i'm gorchymynion, yr ydych yn dadleu chwennychiad i achub y cynhauaf, mewn trefn i arlwyo ystôr digonol gogyfer a'm dyfodiad i dîr o'm bwriadol for-daith: ond gwag-esgus yw hwn; canys gadawer fod i'r fath brinder ddigwydd yn Judea ag i beri newyn; gellid yn y fath gyfyngder gael llawnder digonol o'r taleithiau cymmydogawl. Ond paham yr wyf yn treulio amser mewn chwedlau segurllyd? Bywyd y llywodraethwr coegfalch hwn a gaiff ei aberthu i'm hymddïal i."

Wedi ymadroddi gyd â chynddaredd yn y dull uchod, yr ymerawdwr digllon, wedi ychydig o orphwysiad, a gyfarwyddodd un o'i ysgrifenwyr i wneud i fynu lythyr yn attebiad i'r un a dderbyniasai oddiwrth Petronius: ond gan farnu yn oreu i ochelyd pob mesurau a allai dueddu i gyffroi yr amrywiol raglawiaid, a'u tueddu i gynhyrfu y bobl i godi terfysgoedd; ac yn enwedig y rhai oedd yn blaenori yn y taleithiau ehang a phoblogaidd, lle'r ydoedd hefyd fyddinoedd cedyrn; megis yn y tiriogaethau ag oedd yn ymestyn ar hyd lénnydd yr afon Euphrates, gofalodd gadw yn ddirgel ei anfoddlonrwydd digofus, a chymmerodd arno ganmol callineb ymddygiad Petronius. Ond wedi darn-guddio malais ei galon tan ymddangosiad o barch a chymmeradwyaeth, archodd yn bendant iddo i adael pob achosion eraill o'r neilldu, yn hytrach nag oedi yr amser o gyssegriad y ddelw yn nheml yr Iuddewon; gan chwanegu, fel yr oedd y cynhauaf yn awr wedi dibennu, na allai un esgus ymhellach gael ei roddi i gyfiawnhau y gohiriad.

## PENNOD VIII.

Ar fyrder wedi'r amser hwn, y brenin Agrippa a aeth i Rufain, mewn trefn i gyfarch yr ymerawdwr, fel y byddai arferol. Yr oedd efe yn hollol ddieithr i'r llythyr a 'sgrifenasid gan Petronius, a'r attebiad a ddychwelasid gan Caligula. Wrth wneud ei gyfarchiadau, fe ddaliodd sylw fod gwedd wyneb yr ymerawdwr yn arwyddo digter mawr; ac, am hynny, fe drôdd ei feddwl i ystyried ei ymddygiad ei hun; ond gan fethu cael, wedi'r ymholiad manylaf, ei fod yn gydwybodol o un weithred a allai roddi tramgwydd, fe farnodd fod anfoddlonrwydd Caligula yn cyfeirio at ryw wrthddrych arall. Ond ei ddychymmyg a adnewyddwyd, wrth sylwi ar olygon yr ymerawdwr yn llymhau pan edrychai arno ef, yn hytrach na phan dröai hwynt un ffordd arall; ac ar y cyfrif hwn, fe fwriadodd amryw weithiau ofyn y rheswm o'r fath gyfnewidiad; ond efe a ymwadodd â'i ddymuniad, rhag tynnu arno ei hun anfoddlonrwydd y tywysog, trwy ryfygu ei holi ar y cyfryw achos.

Nid oedd neb yn meddianu mwy callineb na Caligula i dreiddio i feddyliau pobl wrth ymddangosiad eu hwynebpryd; a chan farnu am gyflwr meddwl Agrippa, megis pe byddai yn anesmwyth, fe lefarodd wrtho yn y modd canlynol: "Fe'm perswadir, Agrippa, eich bod yn cael eich blino gan ofid ac amheuaeth; ac yn awr mi fynegaf i chwi yr achos yr hwn yr ydych mor awyddus i'w wybod. Amseriad ein cydnabyddiaeth o'n gilydd a fu yn ddigon o hyd i chwi wybod fy mod yn defnyddio fy ngolwg yn gystal a'm tafod i amlygu fy meddwl. Y rhai hynny o'ch cenedl chwi ydyw yr unig bobl o fewn y greadigaeth sydd a chanddynt y rhyfyg i wrthod fy nghydnabod i yn ddwyfol: ac oddiwrth eu trahaus ddiystyrwch o'm hewyllys pen-arglwyddiaethol, maent yn dangos megis pe chwennychent fwrw eu hunain bendramwnwgl i ddistryw anesgorol. Mi ddanfonais fy ngorchymmyn pendant am osod i fynu ddelw Jupiter yn nghyssegr y deml; ac mewn canlyniad i hyn, rhifedi aneirif o bobl a adawsant leoedd perthynol eu trigfan, ac a ymgasglasant eu hunain yn un corph, mewn trefn i wneuthur eu deisyfiad attaf fi tan enw ymbilwyr gostyng-

edig; ond eu hamcan ydoedd i ddangos pa mor ddirmygus y maent yn cyfrif fy ngorchymynion."

Yr ymerawdwr oedd yn myned rhagddo i ymadroddi, ond a beidiodd, wrth sylwi ddarfod i Agrippa yn ddisymwyth golli ei liw, ac ymddangos yn eglur ei fod mewn anhwyl mawr. Crynfa ddibaid a oddiweddodd holl gorph y brenin, a'i gymhalau heb allu ei gynnal yn hwy; rhaid fuasai iddo syrthio i'r llawr, pe na chynnorthwyasid ef gan y rhai oedd gerllaw iddo. Tra'r oedd tan yr anhwyldeb hwn, wedi ei beri gan y dychryn disymmwyth a syrthiodd ar ei ysprydoedd trwy'r newyddion blîn a glywodd gan yr ymerawdwr, Agrippa a gyflewyd i le ei breswylfod mewn cyflwr o berffaith anwybodaeth. Mor bell oddiwrth deimlo un radd o dynerwch ar gyfrif y ddamwain alarus a ddigwyddasai i frenin Agrippa, fe wasanaethodd hyn i ennyn yn yr ymerawdwr fwy cynddaredd yn erbyn pobl ein cenedl. "Gan fod Agrippa (ebe'r ymerawdwr), yr hwn a broffesodd y parch mwyaf i mi, a'r hwn a gymmerais yn gyfaill ffyddlonaf, ac ar bob achos a'i boddheais hyd eithaf fy ngallu, yn cynnwys y fath barchedigaeth uchel i gyfreithiau a defodau crefyddol ei wlad, fel yr oedd holl alluoedd bywyd yn ymddangos i'w adael ef wrth glywed yn unig eu crybwyll gyd â diystyrwch; pa mor lleied o reswm sydd, gan hynny, i mi ddisgwyl y bydd i eraill o'r Iuddewon, y rhai nid oes ganddynt y fath achlysur i ddangos ffafr i mi, wneuthur trais i'w hegwyddorion, mewn trefn i gydsynio â dymuniad eu tywysog."

Tra y parhaodd y diwrnod hwnnw, a'r rhan fwyaf o'r dydd canlynol, arhosodd Agrippa mewn anhwyldeb, gan hepian ac yn ymleferydd ar brydiau: ond tu a'r hŵyr, ei ysprydoedd mewn rhyw raddau a adfywiodd; a chan godi ychydig ar ei ben, gyd âg anhawsdra mawr, fe agorodd ei lygaid, gan edrych ar y rhai o'i amgylch, ond heb allu adgoffa eu personau. Mewn byr amser ar ol hyn, fe syrthiodd i drym-gwsg, a chyrchiad ei anadl ydoedd fwy dirwystr; ei gorph hefyd a ymddangosodd ei fod yn raddol yn cryfhau, a hyn oll a gyfrifwyd yn arwyddion ffafrol o'i wellhad. Wedi parhau enyd o amser yn yr amgylchiad hwn, fe ddeffrôdd, gan ddywedyd, "Ym mha le yr ydwyf? ai dyma balas yr ymerawdwr? ac a ydyw efe yn bresennol?" Yn attebiad i'r cwestiynau hyn, dywedasant, "Cymmerwch galon, Syr, yr ydych yn awr yn eich lle eich hun o breswylfod, ac nid yw Caligula yma; yr amser y cysgasoch a fu ddigonol; ymdrechwch, gan hynny, i eistedd i fynu ychydig; a mynegwch i ni, a ydych yn gallu adgoffa y rhai sydd o'ch amgylch. Bid sicr i chwi, Syr, nad oes yma neb yn bresennol ond eich cyfeillion, eich teulu, a'ch gwyr rhyddion, a'n bod ni oll mewn gofal am eich gwellhad." Tystiolaeth garedig ei wylwyr a gynnorthwyodd i adferyd y brenin mewn rhyw raddau o'r cystudd yr oedd yn llafurio tano. Fel na aflonyddid Agrippa, ac i'r diben i weini rhyw feddyginiaeth a chynhaliaeth iddo, y physygwyr a archodd i'r cwmp'ni oedd yn bresennol symmud o'r ystafell; ar yr hyn y dywedodd, "Na ofelwch am arlwyo moethau i mi; lluniaeth cyffredin yw'r hyn oll yr wyf yn ei ofyn: oblegid tan fy ngofidiau presennol, digon yw i mi gymmeryd yn unig yr hyn sydd ddigonol i gynnal bywyd: Ni's gallwn yn wir berswadio fy hun i gymmeryd un maeth neu gynhaliaeth ond oddi ar obaith y byddai im' gael byw i waredu fy ngwlad o'r sefyllfa druenus i ba un yn awr y mae wedi ei darostwng." Gyd â'r geiriau hyn yr oedd yn cyd-fyned ocheneidiau a dagrau; a chymmerodd bryd bychan o luniaeth, yr hyn nid oedd ragor na'r peth oedd angenrheidiol i gynnal natur. Ei fwyd ydoedd o'r fath symylaf, a'i weinyddwyr heb allu ei berswadio i gael cymmysgu ychydig wîn â'r dwfr, fe yfodd yr elfen yn ei phurdeb dechreuol ei hun.

Wedi diweddu ei bryd, fe ddywedodd, "Yr wyf yn awr wedi talu fy nyled i natur, ac nid oes yn ol i mi ond yn unig arfer fy ymegnïad mwyaf i droi heibio y dinystr dychrynllyd â pha un y bygythir fy ngwlad." Gorchymynodd yn awr ddwyn bwrdd atto, ac fe ysgrifenodd at yr ymerawdwr yn y drefn ganlynol:

*Y Brenin Agrippa at yr Ymerawdwr Caius Caligula.*

"Syr, Yr ofn o dynnu arnaf fy hun eich anfoddlonrwydd, a'r parchedigaeth sydd genyf i fawrhydi eich person, ac uchelradd eich sefyllfa ddyrchafedig, ni chaniattâ i mi ymwthio i mewn i bresennoldeb eich mawredd ymerodrol; ac o herwydd hynny y rhyfygais, trwy'r

moddion o lythyr, i fynegi fy meddyliau wrth eich mawrhydi gyd â'r parch, yr anrhydedd, a'r gostyngeiddrwydd mwyaf.

"Yr ydych yn cydnabod, ddyrchafedig Sir, fod natur yn meddiannu dynion a serchowgrwydd gwresog at le eu genedigaeth, a difrifol barch i'r cyfreithiau ym mha rai yr addysgwyd hwynt, i roi perffaith ufudd-dod iddynt. Uniondeb y sylwiad hwn a gadarnheir yn amlwg wrth y siampl odidog a ddangosir yn eich person eich hun: canys yr ydych yn difrifol lynu wrth yr ymarferiad o ddyledswyddau crefydd, ac ydych yn ofalus i ofyn manwl gyd-ymffurfiad â gosodiadau cyfreithlon eich gwlad. Tueddrwydd naturiol dyn ydyw parhau mewn ymlyniad wrth yr egwyddorion a dderbyniodd ym moreu ei fywyd; ac i berchi'r cyfreithiau, y defodau, a'r ymarferiadau y bu yn hir gynnefino â hwynt, pa mor gyfeiliornus neu anhaeddiannol bynnag a fyddont, o'i ddewisiad; canys y mae rhyw bethau gan ba rai i'n cynhyrfir yn fwy trwy gasineb a rhagfarn, na chan ddeall a rheswm.

"Nid ydych heb wybod, Syr, fy mod i wrth enedigaeth yn Iuddew, a lle fy ngenedigaeth yw Jerusalem, ym mha ddinas y mae yn sefyll yr adeilad ogoneddus a gyssegrwyd i anrhydedd yr Hollalluog. Fy nisgynfa sydd oddiwrth hynafiaid a feddiannwyd â'r awdurdod frenhinol. Rhai o honynt ydoedd archoffeiriaid; a hwy a ystyrient eu hunain fel yn derbyn anfeidrol fwy anrhydedd oddiwrth y swydd urddasol honno na thrwy feddu'r frenhiniaeth: hwy a ystyrient fod yr Hollalluog yn rhagori ar ddyn; felly fod yn rhaid i'r swydd offeiriadol o angenrneidrwydd ragori ar yr un frenhinol; oblegid fod cyflawniad y gyntaf yn perthynu i achosion dwyfol, a'r llall â pherthynas ganddi yn unig â phethau cyfnewidiol y bywyd hwn.

"Mor agosed yw fy undeb a'm perthynas â sefyllfa amgylchiadol y genedl, y wlad, a'r deml hon, i'r rhai yr wyf yn ddyledus tan amrywiol rwymau, fel na's gallaf ymattal ag erfyn ar eich mawrhydi ymerodrol gyd â thaerineb, etto, ar yr un pryd, gyd â pharch a gostyneiddrwydd, am i chwi yn raslawn weled yn dda estyn eich ffafr frenhinol iddynt. Caniattewch i mi, Syr, ymbil arnoch na orfyddoch ein pobl a'n cenedl i dreisio'r grefydd a dderbyniaisant oddiwrth eu hynafiaid, y rhydd ymarferiad o ba un y maent yn ei ystyried yn rhagorfraint anfeidrol werthfawroccach ganddynt na chad wedigaeth eu bywyd. Adfyfyriwch, Syr, ar y gwir, cyfreithlonrwydd, a zêl y mae'r Iuddewon yn ei feddiannu, ar bob achos, ac wedi ei ddangos at dywysogion o'ch teulu ardderchog chwi. Ni ellir caniattau fod pobl o un broffes arall wedi bod mor aml eu hadduned au a'u hymbiliau at y Nefoedd am lwyddiant eich ymerodraeth, neu mor ddyfal ynghyflawniad eu haberthau a'u hoffrymmau, y rhai yn wastadol a arferasant, nid ar ŵylian arbennig yn unig, ond ar bob amserau eraill yn ddiseibiant: a hwy a dystiasant yn amlwg nad oedd eu defodau yn gynnwysedig o segur-eiriau ac allanol ffurfiau; ond ddarfod i'w hymadroddion crefyddol, eu parchedigaeth, a'u hoffder, darddu oddi wrthynt yn symlrwydd eu heneidiau; ac oddiwrth y rhëol hon, ni throisant un amser, oddigerth ar ryw achosion neillduol y cymhellwyd hwy iddo trwy barchedig awdurdod ag oedd yn ddyledus arnynt, i sanctaidd gyfreithiau a chrefydd eu gwlad.

"Rhaid im' ddeisyf cennad gan eich mawredd ymerodrol i sylwi, nad yw Jerusalem, ym mha un y cefais i fy ngenedigaeth, i'w hystyried yn unig yn fam-ddinas Judea, ond amryw ardaloedd o drefedigion a boblogwyd o'r ddinas sanctaidd honno: megis yr Aipht, Phœnicia, Syria uchaf a'r isaf, Pamphylia, Cilicia, ac amryw rannau eraill Asia, yn ymestyn cyn belled a Bithynia a Pontus; yn Ewrop, Thessali, Bœotia, Macedonia, Ætonia, Athens, Argos, Corinth, a'r rhan fwyaf o'r ynysoedd cyfrifol; Eubœa, Cyprus, a Crete. Mewn perthynas i'r wlad y tu hwnt i Euphrates, gallaf ddywedyd yn ddiogel, mai, oddigerth rhyw ran fechan o dalaith Babilon, a rhai llywodraethau eraill, nad oes yn brin un ddinas o enwogrwydd nad oes ynddynt rai preswylwyr o Iuddewon. Oddi yma, gan hynny, yr ymddengys, nad wyf yn eiriol tros fy ngwlad fy hun yn neillduol, ond tros fantais a dedwyddwch Asia, Ewrop, ac Affrica; y bobl sydd yn preswylio yr ynysoedd yn gystal a'r cyfandir.

"Trwy ymostyngiad grasol i gydsynio â'm deisyfiad tros y ddinas y cefais fy ngeni ynddi, chwi a osodwch rwymau mawrion a pharhaus

ar bobl amrywiol fanau eraill ag sydd â'u sefyllfa yngwahanol rannau'r glôb; canys ar y weithred o drugaredd, yr hon ag wyf yn awr yn anturio ei gofyn, y mae'n ymddibynnu happusrwydd a diogelwch cyfagos yr holl gorph o ddynolryw. Pa ryw weithred a all fod yn fwy cysson ag ymddygiad y mawr a'r dyrchafedig Cæsar, na'r hyn a foddhao ddymuniadau, ac a bâr orfoledd i holl ddynolryw; ac o ganlyniad a sicrha iddo y deyrnged o glod, parch, ac anrhydedd gan genedlaethau pell ac agos? Nid ydwyf heb obeithio y bydd i hyderusrwydd fy erfyniad gael ei esgusodi: oblegid fod fy ymdrechiadau taer a gwresog yn yr achos presennol, yn cael ei fwriadu fel cyfryngiad, pa un a sicrha glod cyffredinol ac anfarwol i'r ymerawdwr.

"Mewn cydsyniad ag eiriolaeth rhai cyfeillion enwedigol, chwi welsoch yn dda sefydlu preswylwyr rhai trefydd yn rhydd ddinasyddion Rhufain, trwy hynny yn gwneuthur yn feistriaid y rhai ag oedd o'r blaen mewn cyflwr o gaethweision; ac ar yr achosion hynny eich haelioni ymerodrol a fu mor helaeth i'r rhai a ofynasant y ffafr, ag iddynt hwy i ba rai y rhad-roddwyd hi. O'r holl dywysogion ag sydd yn eich addef fel eu meistr, nid oes ond ychydig a all yn gyfiawn berchennogi y rhagoriaeth arnaf fi mewn pwngc o urddas; na neb ag sydd yn dwyn mwy o barch a ffyddlondeb tu ag at fawrhydi eich person. Yr arwyddion o gyfeillgarwch y rhai a welsoch yn dda gyfrannu i mi a fu yn fawr ac yn lliosog; ac anrhydedd a diolchgarwch hyd yma a'm cynhyrfodd, ac a barhâ i'm cynhyrfu i ddangos pob rhwymedigaeth i chwi. Er hynny nid wyf yn rhyfygu gofyn ffafr gan eich mawredd ymerodrol ar gyfrif rhoddion a rhagorfreintiau, neu fod i chwi ganiattau i'm cyd-wladwyr esgusodiad oddiwrth dalu teyrnged. Nid wyf yn unig ond gofyn ffafr na all fod yn achos o un math o niweid neu anghyfleusdra i'ch mawrhydi, ond yn un a brawf o uchel fantais a boddlonrwydd i'r Iuddewon; canys pa fwy bendithion daearol a ddichon deiliaid ddymuno, na thŷb dda, a pharch, a charedigrwydd eu pennadur addefedig. Jerusalem ydoedd y lle cyntaf a gyd-lawenychodd â Caligula ar ei ddyfodiad i'r swydd ymerodrol; a hi a drosglwyddodd y newydd o'r digwyddiad gorfoleddus i'r taleithiau cymmydogawl. Oni allwn yn rhesymmol ddisgwyl y bydd i ryw ffafr gael ei ddangos i'n dinas sanctaidd, mewn cydnabyddiaeth o'r egwyddorion o gyfreithlondeb a zêl a ddangosodd pan roesawodd Caligula ar enw ei phennadur cyfreithlon? Fe fernir y mab hynaf yn haeddu y rhan oreu o anrhydedd, o herwydd, trwy ei enedigaeth, ddarfod i'w rieni yn gyntaf, gael yr enw anrhydeddus o dad ei mam: oni allwn, gan hynny, benderfynu y bydd i ryw ffafr, rhagorach nag a ellir yn rhesymmol ddisgwyl gan ddinasoedd eraill, gael ei ddangos i Jerusalem, gan ei bod yn flaenaf wedi cyd-lawenychu â Caligula ar yr achos o'i ddyrchafiad i'r sefyllfa ymerodrol?

"Wedi llefaru fel hyn ymherthynas i'm cenedl a'm gwlad, y mae'n awr yn aros fod i mi yn ostyngedig erfyn eich tiriondeb tu ag at y deml sanctaidd yn Jerusalem. Yr adeilad ogoneddus am ba un yr wyf yn awr yn meddwl llefaru, sydd wedi ei chyssegru i anrhydedd y Duw Hollalluog, yr hwn sydd yn preswylio ynddi. Nid yw gwaith cerfwyr ac arliw-wyr ond yn unig yn arwyddo duwiau gweledig: ond i gynnyg gwneuthur dangosiad o'r Duw anweledig a thragywyddol, a ystyrir gan y bobl sydd yn proffesu y grefydd Iuddewig yn beth mwyaf ffiaidd ac annuwiol.

"Ein teml ydoedd mewn parch uchel gan Agrippa, taid eich mawrhydi. Augustus a orchymynodd yn bendant fod i'r adeilad gyssegredig gael ei diwallu â'r offrymmau a elwid blaen-ffrwythau o amryw rannau'r glôb, a bod i aberthau beunyddiol gael eu hoffrymmu ynddi. Yr ymerodres, mam eich nain, oedd â chanddi barch duwiol i'r deml. Ni allai tywysog na phennadur, Groegiad na Barbariad, na'n gelynion mwyaf creulon, na holl ddychrynfeydd rhyfel tramor a chartrefol, na'r cyfyngderau mwyaf a allai ddigwydd i natur, fyth ein perswadio i adael i eilun gael ei osod i fynu yn ein teml. Rhaid addef ddigwydd amryw elynion i'r adeilad gyssegredig; ond y grefydd a arferid ynddi a arhosodd yn ddiangol. Yr adeilad wedi ei chyssegru i Wneuthurwr a Thad y greadigaeth, pobl a ymattaliasant rhag gosod delwau eilunod ynddi, rhag tynnu arnynt ddialedd Duw digllon. Ni raid ymofyn am ddieithriaid yn siamplau o hyn, tra mae cynnifer i'w cael o rai cartrefol.

"Yn amser teyrnasiad y brenhin Herod, fy nhaid; Marcus Agrippa, taid eich mawrhydi, a'i hanrhydeddodd mor bell ag i ymweled ag ef yn Judea; ac ar yr achos yma Argippa a deithiodd ar hyd dueddau glàn y môr i ddinas Jerusalem. Gwychder a gödidowgrwydd y deml sanctaidd, ymarferiad y dyledswyddau a defodau crefyddol, symlrwydd ymddygiadau y bobl, ac amryw amgylchiadau eraill, a wasanaethodd i feddiannu yr ymwelwr ardderchog â rhyfeddod, parch, a synnedigaeth; a chymmerodd achlysur ar bob cyfleusdra, i dystio ei barchedigaeth i'r lle gogoneddus. Tra yr arosodd yn Jerusalem, efe yn feunyddiol a aeth i'r deml, gan sylwi ar y gwisgoedd sanctaidd, y dull o gyflawni'r aberthau, urddasrwydd yr archoffeiriad, a'r difrifwch a ymddangosai ynddo ef a'r offeiriaid eraill, wrth weinidogaethu'r gwasanaeth crefyddol.

"O flaen ei ymadawiad, Agrippa a anrhegodd y dinasyddion â'r fath ragorfreintiau ag oedd bossibl iddo eu cyfrannu, oddigerth arbediad rhag talu y trethoedd arferedig; ac a anrhegodd i'r deml sanctaidd amryw roddion o werth mawr. Ar ei ddychweliad, Agrippa a hebryngwyd gan Herod at làn y môr, lle y darfu i'r personau godidog hyn gyd-gyfaddef eu rhwymedigaeth, i'w gilydd, a'r gyfeillach agos oedd yn aros rhyngddynt. Ar yr achlysur o ymadawiad Agrippa, y bobl a ymgasglasant yn dorfeydd mawrion, gan daenu canghennau a blodau ar y ffordd yr oedd yn myned ar hyd-ddi, i arwyddo trwy hynny eu diolchgarwch am yr haelioni a dderbyniasent, a'u parchedigaeth i'w berson, o herwydd y cyfrifiad mawr a wnaethai o'r deml; a hwy a osodasant i fynu erfyniau tros ei ddedwyddwch a'i lwyddiant. Gwirionedd ydyw a gyfaddefir gan yr holl fyd, fod barn eich taid, Marcus Agrippa, yn gymmwys yr un â'r eiddo eich enwog ewythr Tiberius, y'mherthynas i gyfreithiau a chrefydd pobl ein cenedl ni.

"Tros holl amser teyrnasiad Tiberius, yr hwn a barhaodd tros dair ar hugain o flynyddau, ni arwyddodd yr amcan lleiaf o ddwyn cyfnewidiad i mewn yn nhrefn ein haddoliad a'n gwasanaeth crefyddol, neu o gynnyg un trais nac ammharch i'n teml sanctaidd. Er i mi dderbyn driniaeth chwerw oddiwrth Tiberius, ni allaf fod mor anffyddlon a gadael o'r neilldu grybwyll rhan o'i ymddygiad, yr adroddiad o'r hyn ni all amgen na pheri anrhydedd ar ei goffadwriaeth. Yr wyf yn sicr, Syr, fod gwirionedd yn wastad yn gymmeradwy gennych chwi; ac fe fydd i mi yn awr fyned ym mlaen at rai pethau neillduol, yr hyn a'ch gallnoga i ffurfio barn am dybiau Tiberius mewn perthynas i osodiadau ac ymarferiadau crefyddol yr Iuddewon.

"Ar yr amser ag yr oedd Judea tan lywodraeth Pilat, fe osododd i fynu rai tarianau neu fwccledi goreurog ym mhalas Herod, yn Jerusalem, ac a'u cyssegrodd i anrhydedd yr ymerawdwr Tiberius. Nid oddi ar egwyddor o barch tu ag at yr ymerawdwr y darfu i Pilat wneuthur hyn, ond oblegid ei falais a'i anfoddlonrwydd tu ag at bobl ein cenedl ni. Y bwccledi oedd ag argraphiad arnynt o enwau y cyssegrwr, a'r hwn er anrhydedd pa un y cyssegrwyd hwynt; ond nid oedd dangosiad o unrhyw lun neu ddelw arnynt, yr hyn a waherddid gan ein cyfreithiau ni. Ond wedi i hyspysrwydd o'r cyssegriad ymdaenu ym mhlith y bobl, hwy a ddaethant yn dra anfoddlon, ac yn fuan a wnaethant eu cwyn wrth bedwar mab y brenin, ac amryw bersonau eraill o dderchafiad pennaf; gan attolygu iddynt arferyd eu hymdrech i berswadio Pilat i symmud ymaith y bwccledi, y cyssegriad o ba rai ni allent amgen na'u golygu yn drais ar eu cyfreithiau a'u crefydd, a'r defodau a draddodasid iddynt gan eu hynafiaid, y rhai a gynnaliasid mewn parch a chyfrifiad mawr gan frenhinoedd ac ymerawdwyr o'r blaen. Ond fel yr oedd Pilat yn un o dymmer sarrug a gwrthnyssig, fe attebodd i ofynion yr eiriolwyr mewn modd byrbwyll a digllon; mewn canlyniad i'r hyn y cyffröwyd y werin yn fawr; a hwy a lefasant yn erbyn Pilate yn y dull canlynol.

"Gorphwys, Pilat, oddiwrth derfysgu tawelwch pobl ag sydd â thuedd i ddangos ufudddod dyledus i'w cyfreithlon bennadur, ac na ymdrechwch i'w hannog i derfysg a gwrthryfel. Na thwyllwch eich hun â dychymmyg fod ein pobl mor egwan a chymmeryd eu difyru â rhith ffuantus, trwy'r moddion o ba un yr ydych yn ymdrechu i guddio anghyfiawnder eich ymddygiad. Bid sicr i chwi nad trwy aflonyddu yr heddwch cyffredin, a chynnyg trais i'r gyfraith, y galluogir chwi i anrhydeddu'r ymerawdwr, na pheri iddo gredu y parch a gymmer-

wch arnoch fod gennych i'w berson. Fe'n llawn berswadir ni nad yw Tiberius mewn un modd yn tueddu i fyrhau ein rhagorfraint o gael byw yn ol cyfreithiau a defodau ein hynafiaid, yr hyn hyd yma a fwynhasom yn ddirwystr. Os rhoddwyd gan Tiberius orchymmyn, neu arwydd trwy lythyr, ei fod yn cymmeradwyo'r mesurau yn erbyn pa rai yr ydym ni yn achwyn, yr ydym yn deisyf arnoch ddangos i ni eich awdurdod: yna bydd yn afreidiol i ni ddadleu â Phliat; y ffordd a raid i ni ei chymmeryd yw hyn; sef, danfon cenhadwyr i osod ein hachos ger bron ein harglwydd a'n pennaeth ymerodrol; ac ymbil yn ostyngedig ar ryngu bodd iddo ef symmud ymaith yr achos o'n hachwyniaeth cyfiawn: a hyn a wnawn gyd â llawn hyder o dderbyn ymwared; canys fe'n perffaith argyhoeddir na annog Tiberius ddim gorthrymder i gael ei osod ar ei ddeiliaid cyfreithlon a charedig."

"Y crybwylliad am y modd y byddai i'r bobl osod ei cwyn o flaen yr ymerawdwr, trwy anfoniad cenhadon, i ddeisyf am symmudiad y bwccledi euraidd, a brofodd yn amgylchiad tra chyffrous i Pilat; yr hwn a feddyliodd os aent mor bell ag i ddanfon cenadwri at yr ymerawdwr, y byddai i holl drosedd ei weithredoedd ddyfod o angenrheidrwydd i'r golwg; ac efe yn awr a ystyriodd yr anghyfiawnder, y trais, a'r gorthrymder a fuasai yn euog o hono; a darfod iddo farnu amryw bersonau diniweid i farw tan yr arteithiau llymmaf; oddi yno y casglodd, os deuai Tiberius i wybod am wirionedd y gweithredoedd hyn, y byddai i rym mwyaf y digter ymerodrol gael ei gyfeirio yn ei erbyn, wedi iddo gam-ddefnyddio mor gywilyddus yr awdurdod a ymddiriedasid iddo. Y dyn tanbaid a threisgar hwn a ddyryswyd yn fawr mewn perthynas i'r hyn oedd oreu iddo wneuthur yn ei sefyllfa bresennol: yr oedd yn dra gwrthwynebol ganddo symmud ymaith y bwccledi, y rhai a gyssegrasai eisoes; ac yr ydoedd heblaw hynny yn anewyllysgar i blygu i achwyniadau y bobl, y rhai a'i cythruddasai yn fawr wrth ryfygu gwrthsefyll ei ddymuniad

"Wedi i'r gwŷr mawr a gymmerasant arnynt eiriol tros yr Iuddewon ddeall fod Pilat, er ei holl ffuantrwydd, wedi brawychu yn fawr, ac yn ymddangos yn edifarhau oblegid y gwaith ag oedd mor atgas gan y bobl, hwy a ystyriasant amgylchiad yr achos oedd yn eu golwg; a phenderfyniad eu cyngor ydoedd, mae'r moddion mwyaf buddiol a allent gymmeryd tu ag at gael eu diormesu ydoedd, i wneuthur eu cwynion yn ddioed yn adnabyddus i'r ymerawdwr. Mewn canlyniad i hyn hwy a ddanfonasant lythyr at Tiberius, yn amlygu y gormesiad ar yr Iuddewon, ac erfyn am ymwared; a'r llythyr hwn a ysgrifenwyd yn y modd taeraf, ac ar yr un pryd yn y modd cyfreithlonaf a mwyaf gostyngedig a ellid ei ddychymmygu.

"Tiberius, er ei fod yn ddyn na ellid yn hawdd ei gythruddo i ddatgan ymadroddion byrbwyll a digllon, nid cynt y darllenodd y llythyr ymherthynas i'r Iuddewon, nag y beiodd gyd â thanbeidrwydd mawr, ar ymddygiadau rhyfygus ac iaith anweddus Pilat. Yr ymerawdwr yn ddioed a ysgrifenodd atto, gan ei ddwys-geryddu o berwydd anmhriodoldeb a thrahaustra ei ymddygiadau; a'i orchymmyn yn bendant i beri i'r bwccledi yn uniongyrch gael eu symmud, a'u trosglwyddo i'r porthladd a elwid Cæsarea, ac a osodwyd yn yr adeilad a gyssegrasid er anrhydedd Augustus. Trwy'r moddion hyn y parch dyledus i anrhydedd yr ymerawdwr a gadwyd, a'r dirmyg ar gyfreithiau a defodau'r Iuddewon a symmudwyd.

"Ar y bwccledi neu'r tarianau uchod nid oedd dim delwau yn argraphedig, ac nid oeddynt yn gwneuthur un ymddangosiad arall a waherddir gan ein cyfraith ni; ac ni osodasid hwy ond yn unig ym mhalas y rhaglaw. Ond yr wyf yn dysgu gwybod ddarfod bwriadu yn awr gosod delw i fynu yn y cyssegr yn nheml Jerusalem. Y cyssegr hwn sydd le a gyfrifir yn y fath barch sanctaidd, fel ag y gwaherddir i bawb, oddigerth yr archoffeiriad yn unig, rhag myned i mewn yno; ac hyd yn oed yr archoffeiriad ei hun ni adewir i fyned i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf oddieithr ar un dydd yn y flwyddyn, pan ar ol cynnal gŵyl yr ympryd, ei swydd gyssegredig a ofyn iddo losgi arogldarth er gogoniant ac anrhydedd yr Hollalluog, a thaer-weddio, yn ol gosodiadau y grefydd Iuddewig, ar fod i'r Arglwydd yn ei annherfynol drugaredd a'i gymmwynasgarwch, yn raslou weled yn dda i gyfrannu heddwch cyffredin, a dedwyddwch ymysg dynolryw dros y flwyddyn.

ganlynol. Pa ryw un bynnag o'n cenedl, heblaw yr archoffeiriad, yr hwn a ryfygo fyned i mewn i'r cyssegr sanctaidd, a fernir gan y gyfraith i farw yn ddidrugaredd. Os hyd yn oed yr archoffeiriad ei hun a eiff i mewn yn amlach nag un dydd yn y flwyddyn, a dim ychwaneg nag unwaith ar y dydd hwnnw, pan fo rhyddid iddo, efe yn ddiymarbed a roddir i farwolaeth, fel cosp ddyledus i'w ryfyg. Y trefniadau hyn a draddodwyd gan ein deddfwr parchedig, fel y byddai i'r lle cyssegredig gael ei gynnal yn ddidrais, ac mewn dyledus gyfrifiad.

"Nis gellwch amgen na deall, Syr, gan fod cospedigaeth mor llym yn cael ei datgan yn erbyn y rhai a droseddant y gyfraith y'mherthynas i'r pwngc mewn cwestiwn, y llonyddwch cyffredin a beryglid yn fawr trwy'r terfysg poblogaidd a fyddai sicr o gymmeryd lle mewn canlyniad i osodiad delw i fynu yn y cyssegr sanctaidd, lle na chaniatteir hyd yn oed yr archoffeiriad i fyned iddo, ond ar ammod neillduol. Yn fyr, yn hytrach na bod yn dystion truenus o'r fath ffieidd-dra annuwiol, a'r fath droseddiad erchyll o'n cyfreithiau, ein hoffeiriaid a roddent eu gwragedd a'u plant i farwolaeth, ac a roddent i fynu yn aberth cyffredin eu bywydau eu hunain.

"Af rhagof yn awr i lefaru am ymddygiad y gwir ardderchog Augustus, yr hwn yn ddiddadl ydoedd dywysog o rinweddau mwyaf enwog a feddiannodd erioed yr oruchafiaeth ymerodrol. Ei ragorol ddoethineb a'i rinwedd a roddodd gyfiawn hawl iddo i'r enwau clodforus wrth ba rai y gwahaniaethwyd ef. Fe gadwodd i fynu lonyddwch hir a dirwystr trwy yr holl fyd; yn ddiolchgarwch am ba ryw fendith fe ddaeth yn wrthddrych o ganmoliaeth a chlodforedd cyffredinol. Mewn cyd-ymgynghoriad ynghylch teml Jerusalem, fe amlygwyd i'r tywysog ardderchog hwn fod ein cyfraith yn cynnwys gwaharddiad i osod unrhyw ddelw gerfiedig ynddi, o herwydd ei fod yn ammhriodol i luniad gweledig gael ei ystyried fel arwydd o'r Hollalluog a'r tragywyddol Dduw. Yr ymerawdwr a farnodd y gwaharddiad yn berffaith gysson â rheswm; a chan ei fod yn ddyn o ddysgeidiaeth mawr, cymmerodd achlysur i adrodd ei sylwiadau uniawn-farn ar yr hyn a draddodwyd yn y cydgymdeithasiad, gan eu casglu ar brydiau allan o ymddiddanion y gwŷr dysgedig y rhai oedd yn wastad o'i amgylch; ac ar amserau eraill traethai'r meddyliau a ddychymmygid gan ei gywreinrwydd ei hun, a'i ddeall tra rhagorol.

"Augustus oedd yn gymmaint hoffwr dysgeidiaeth, a phan eisteddai wrth fwrdd, ac yn oed amser gwleddodd, fe ymunai mewn ymddiddaniad â'r philosophyddion mwyaf cyfrifol, a gwŷr eraill o ddysg á doethineb; felly, tra'r oedd yn cyfranogi lluniaeth oedd angenrheidiol i gynnal natur, fe ddefnyddiodd yr amser mewn ffordd mor fanteisiol ag i fwynhau boddlonrwydd oddiwrth yr hyn a borthai ei feddwl. Arwyddion dirif a ellid eu cael i brofi y rhyddid meddyliau a feddiannodd Augustus tu ag at bobl o'n hegwyddorion ni; ar yr achos presennol, ni chrybwyllaf ond am ddau amgylchiad; ac fe fernir yn ostyngedig y bydd eich mawrhydi ei olygu yn ddigonol i brofi nad ydoedd efe, mewn un wedd, yn elyn i gyfreithiau a chrefydd yr Iuddewon.

"Wedi hyspysu iddo nad oedd y gorchwyl o drosglwyddo'r trysorau, tan yr enw o flaenffrwyth i'r deml sanctaidd yn Jerusalem, yn cael ei gyflawni yn y drefn a ddylesid, danfonodd yr ymerawdwr lythyrau at raglawiaid yr amryw daleithiau yn Asia, gan orchymmyn iddynt yn bendant na chynhygid un math o rwystr i'r Iuddewon mewn perthynas i'w hymgynhulliad yn y synagogau. Ond y rhyddid o gynynal cyfarfodydd cyhoeddus ni estynid i neb rhyw bobl eraill, ond y rhai o'n cenedl ni. Yr ymerawdwr a ddaliodd sylw nad oedd cynnulleidfaoedd yr Iuddewon yn tebygu i dyrfa gwleddoedd Bacchus, lle'r oeddid yn annog rhai i feddwdod, ymrafael, ac ymddygiad afreolus; ond yn hytrach oeddynt i'w hystyried fel athrofeydd, ym mha rai yr addysgid pobl mewn cariad ac ymarferiad o bob rhinwedd, duwioldeb, a chyfiawnder; a bod y casgliadau blynyddol a elwid blaen-ffrwythau, yn cael eu bwriadu i ddim pwrpas arall nag offrymiad aberthau yn y deml er anrhydedd i'r Hollalluog. Yn fyr, y tywysog enwog a chymmwynasol hwn a ddanfonodd orchymmyn pendant allan, fod i'r Iuddewon yn ddirwystr gael mwynhau y rhagorfraint o gynnal eu cyfarfodydd a gwneuthur eu casgliadau, yn ol defod ymarferol eu hynafiaid. Nid wyf yn addef fod gennyf gof perffaith

o holl dueddiadau a geiriau gorchymmyn yr ymerawdwr; ond yr ydwyf yn hyderus na chamsyniais ymherthynas i ddiben yr unrhyw: a hyn, Syr, a roddir ar ddeall i chwi ymhellach, ar ddarlleniad llythyr oddiwrth C. Norbanus Flaccus, o'r hwn yn awr y danfonaf ad-'sgrif cywir i'ch mawrhydi:

*C. Norbanus Flaccus, Rhaglaw, at Swyddogion Ephesus, yn anfon Annerch.*

"YR ymerawdwr a drosglwyddodd lythyr i mi, ym mha un y gwelodd yn dda arwyddo, mai o herwydd fod pobl yr Iuddewon yn cynnal cyfarfodydd crefyddol, ac yn gwneuthur casgliadau o arian i'w trosglwyddo i'w deml yn Jerusalem, tan yr enw o flaen-ffrwythau, ei ewyllys boddlongar ydyw i ganiattau iddynt lawn ryddid i barhau mewn ymarferiad o'u rhagorfreintiau yn y pyngciau hyn, yn ol defodau hynafiaethol eu gwlad. Y gorchymmyn hwn ydych i sylwi arno, a rhoddi iddo ddyledus ufudd-dod."

"Ni ddichon, yn sicr, fod prawf mwy anwrthwynebol o'r meddyliau ffafrol oedd gan Augustus mewn perthynas i'n teml, na'r amgylchiad o ganiattau i ni yn gyhoeddus ryddid i arfer ein dyledswyddau a'n defodau crefyddol, ynghyd a rhyddid i wneuthur cynnorthwyon at achosion cyssegredig, ac i fyw yn ol cyfreithiau ein hynafiaid.

"Y mae etto dystiolaeth arall i'w dwyn ger bron, i gadarnhau yr hyn a ddywedais ymherthynas i'r tynerwch oedd Augustus yn ei feddiannu tu ag at bobl y genedl Iuddewig; a'r matter hwn a ddygaf i mewn yma. Augustus a orchymmynodd wneuthur sylw o aberthu yn feunyddiol yn y deml; a'r creaduriaid a leddid i fod yn eidion a dau oen; a bod i'r draul a berthynai i'r offrymmau hyn o anrhydedd i'r Hollalluog, gael ei rhoddi allan o'i deyrnged ei hun. Yr offrymmau hyn a barhawyd yn ddibaid hyd yr amser presennol. Amcan Cæsar ydoedd i'r aberthau gael eu hoffrymmu ar yr allor: ond yr ydoedd er hynny yn berffaith deimladwy nad oedd un math o lun neu ddelw duwdod y tu mewn neu oddi allan i'r deml. Y tywysog dysgedig a synhwyrgall hwn a ystyriodd mai buddiol ydoedd fod teml ogoneddus wedi ei chyssegru gyd â pharch neillduol er anrhydedd yr anweledig Dduw; ac na fyddai i un ddelw gael ei chynnwys yn yr adeilad gyssegredig, lle y byddai i ddynion gyflawni eu dyledswyddau defosiynol, mewn hyder y coronid eu duwioldeb â'r gwobr a ddymunent.

"Bydd i mi yn awr ofyn cennad gan eich mawrhydi i adrodd am y parchedigaeth a ddangoswyd at ein teml gan eich nain, yr ymerodres Julia. Y dywysoges dra rhinweddol honno, yn ol siampl ei phriod ardderchog, a gyfrannodd helaethrwydd o roddion o werth annhraethol, i'r adeilad sanctaidd, yn gynnwysedig mewn llestri aur ac arian, ac amryw bethau gwerthfawr eraill: ond nid oedd lluniau i'w gweled arnynt, na dim yn wrthwyneb i'n cyfreithiau ni. Galluoedd tumewnol merched ydynt yn gyffredin yn weiniaid, ac anfynych yr effeithir arnynt ond gan wrthddrychau teimladol. Ond yr ymerodres Julia oedd yn rhagori yn fawr ar eraill o'i rhyw; ei deall ydoedd gyflym, a'i barn yn gywir. Hi gyfeiriodd ei meddwl at bethau o bwys a chanlyniad, a thrwy fyfyriad parhaus ar yr unrhyw, gwnaeth i fynu'r diffygion perthynol i'r rhyw fenywaidd. Ei thueddiad ydoedd fawr at byngciau golygiadol a meddylgar, o'r hyn nid oedd cyfrif pethau ymarferol ond megis cysgod.

"Wedi gosod ger bron gynnifer o siamplau hynod yn brawf o'r ffafr, y tynerwch, a'r amddiffyn a gafodd pobl ein cenedl ni oddiwrth bersonau ardderchog eich teulu eich hun, ac yn enwedig oddiwrth eich taid, i'r hwn ydych yn ddyledus am eich bywyd, a'r sefyllfa dderchafedig ag yr ydych yn ei mwynhau yn bresennol, yr wyf yn ostyngedig yn rhyfygu erfyn a'r fod i'ch mawrhydi ymerodrol weled yn dda i barhau i ni y mwynhad o'r rhagorfreintiau gwerthfawr a gadarnhawyd i ni gan eich perthynasau ardderchog o'r blaen. Ymerawdwyr a wna eu herfyniadau at un ag sydd yn bresennol yn meddiannu yr awdurdod ymerodrol, tywysogion a eiriolant ar dywysog anrhydeddus, teidiau a hen-deidiau a ymbiliant ag ŵyr, ac amryw bersonau derchafedig eraill a ddadleuant o flaen y galluog Caligula, o blaid crefydd, cyfreithiau, a defodau, y rhai er eu gosodiad cyntaf a gynhaliwyd mewn parch cyssegredig hyd yr amser presennol.

"Rhaid yw cyfaddef os bydd i ddiddymiad ein cyfreithiau gymmeryd lle, mae'n ammhosibl i'r troseddiad fod heb ei ddilyn yn uniongyrch â

barn ddialeddol: ond bydded i hyn gael ei gofio, fod datguddiad damweiniau yn yr amser i ddyfod tu hwnt i gyrraeddiad meddwl dynol: ac er i farn ddwyfol gael ei hoedi tros amser, rhaid iddi yn y diwedd gymmeryd lle. Pa ddyn sydd, yr hwn nid oes ganddo galon halogedig gan euogrwydd, ac nad yw yn annuwiol yn ymwrthod â chrediniaeth o hanfod Duw tragywyddol a hollalluog, a ddichon fod mor annheimladwy o'r ystyriaethau hyn ag i ddiystyru brathiadau ei gydwybod, a phrofi ei hun ei fod wedi ei feddiannu ag yspryd mor rhyfygus ag i beidio crynu tan yr amgyffred ofnadwy o gyfarfod â gwobrwyad dyledus i'w anwireddau?

"Y rhwymau mawrion a welodd eich mawrhydi yn dda i osod arnaf fi ydynt mor lliosog na roddir amser digonol i mi i'w cyfrif hwynt; ac sydd yn faterion rhy bwysig i mi fyned trostynt yn ysgafn. Y crybwylliad am rai pethau neillduol, pa fodd bynnag, a fydd ddigon i brofi eich haelioni diderfyn i mi, heb adrodd yr amrywiol amgylchiadau oedd yn cydfyned â hwynt. Bai cyhoeddus ydoedd yr achos o ddyfod i'm rhan gael fy ngwneud yn garcharwr; ac wedi fy narostwng i'r cyflwr hwnnw fy rhoddi mewn cadwynau. Gyd â'r diolchgarwch mwyaf, yr wyf yn cydnabod ddarfod i'ch mawrhydi weled yn dda fy adferyd i ryddid: ond caniattewch i mi obeithio na ddarfu i chwi fy rhyddhau o'm rhwymau tan heiyrn, i'm darostwng i orthrymder mwy annioddefol. Yn oed yr amser i'm carcharwyd fy nioddefiadau yn bennaf oedd ar rannau neillduol fy nghorph, ond fy enaid a sudda tan faich annioddefol fy mlinder presennol. Chwi a'm hachubasoch o amgylchiad a berygllid â marwolaeth: ac yn wir o sefyllfa oedd ychydig well na chyflwr o drangcedigaeth; a chwychwi yn ol hynny a ddangosasoch tu ag attaf fesur mawr o garedigrwydd, tu hwnt i'r hyn a allwn yn rhesymmol ei ddisgwyl.

"Ymbiliau gostyngedig Agrippa, rhwymedigaethau pa un i'ch mawrhydi sydd yn rhagori ar bob dawn ymadrodd, ydyw, ar i chwi yn raslawn weled fod yn dda i gadw y bywyd a ganiattasoch: ac fe'm tueddir i obeithio na ommeddwch fy nhaer ddeisyfiad; canys ni allaf feddwl i chwi fy ngwaredu o un trallod, ac estyn at fy nyddiau fel y byddwn fyw i gyfarfod â dinystr o ddull mwy dychrynllyd.

"Yr wyf yn ddyledus i chwi, Syr, am feddiant o'r awdurdod frenhinol; ac ar ol fy ngosod yn y sefyllfa anrhydeddus honno, gwelodd y galluog Cæsar yn dda ganiattau prawf chwanegol o'i haelioni brenhinol, ac am hynny fe estynodd fy awdurdod tros Traconitis a Galilea. Na fydded i chwi, Syr, fy nifeddiannu o'r rhagorfreintiau godidog hyn, y golled o ba rai a wnai'r rhoddion mawr a dderbyniais yn hollol ddi-ddefnydd ac o ddim gwerth. Wedi i chwi fy nyrchafu i'r sefyllfa uchaf a all calon dyn ei ddymuno, na fwriwch fi bendramwnwgl i lawr i ddyfnderoedd gwrthwyneb o drueni. Nid wyf yn cynnwys un math o rag-ofal am gadwedigaeth yr awdurdod â'r hon y rhyngodd bodd i chwi fy ngwneud yn feddiannol: ond, yn y gwrthwyneb, gyd â'r ewyllysgarwch mwyaf, gallaf ymadael â'r holl fawredd ac anrhydedd cyssylltedig â brenhiniaeth, a dychwelyd i'm sefyllfa ragflaenol mewn bywyd. Yr unig wrthddrych o'm herfyniad ydyw, fod i gyfreithiau a chrefydd fy ngwlad gael eu cadw rhag pob trais. Os profaf mor anhappus a chyfarfod â'ch gommeddiad, y canlyniad a raid fod ym mhlith yr Iuddewon, yn gystal a phobl eraill, fy ystyried megis bradwr i achosion fy ngwlad, neu fod ddim ymhellach i gael fy nghyfrif yn deilwng o ewyllys da yr ymerawdwr; a phob un o'r damweiniau hyn a fyddai yn achos o flinder annioddefol. Os pery'r cyffredin i ddychymmygu fy mod i ym mhlith y nifer a dderbyniant ffafr yr ymerawdwr, ac ar yr un pryd a'm canfyddant yn dyst o halogiad ein teml sanctaidd, yr hon yw gogoniant pennaf y genedl Iuddewig, hwy a'm cyhuddant megis bradychwr i'w hachos, trwy ddychymmygu ddarfod i mi esgeuluso fy ymdrechiadau i ragflaenu dinystr fy ngwlad; canys ni feddylir ei fod yn debygol y gall ymerawdwyr wadu y fath ffafr ag wyf fi yn anturio ei gofyn, pan ei deisyfir gan un wedi ei anrhydeddu â chyfeillach frenhiniaethol. Os wyf fi mor anhappus a darfod i mi fforffetio y lle unwaith a feddienais yn eich parch chwi, yr wyf yn deisyf, Syr, na fyddo i chwi, yn ol esiampl Tiberius, fy rhoddi mewn cadwynau: ond, yn lle fy nifuddio o ryddid, i chwi fy rhoddi yn ddioed i farwolaeth: canys pa beth a fydd yn aros i beri i mi chwenychu parhad o fywyd, wedi colli ewyllys da yr ymerodrol Caligula,

yn yr hwn y gosodais fy mhrif-obaith o happusrwydd amserol? Ac yn awr, Syr, yr wyf yn gadael fy achos fy hun, ynghyd â'r eiddo fy ngwlad, yn ostyngedig i'ch ystyriaeth."

## PENNOD X.

WEDI selio i fynu'r llythyr, a'i anfon gyd â negeseuwr, a chyd â gorchymmyn pendant i wneuthur brys mwyaf i'w gyflëu i'r ymerawdwr, Agrippa a arhosodd yn gauedig yn ei dŷ ei hun gan ddisgwyl, gyd â meddyliau gofidus, y canlyniad o'i ddiweddar erfyniad; canys yr ydoedd yn gydwybodol fod cadwedigaeth neu ddinystr, nid Judea yn unig, ond yr Iuddewon ag oedd yn preswylio amryw rannau'r byd, yn ymddibynnu ar y farn rasol neu anffafrol a ddilynai y gennadwri hon at yr ymerawdwr.

Ar ddarlleniad y llythyr hwn oddiwrth Agrippa, gwedd-wyneb yr ymerawdwr a arwyddodd yn amlwg wahanol gynnyrfiadau ei feddwl. Ar un amser fe'i hanfoddlonwyd yr fawr wrth adgoffa yr anufudd-dod a ddangosasid i'w orchymyn pendant trwy oedi cyssegriad y ddelw er ei anrhydedd yn nheml Jerusalsm; ac yna chwerwder naturiol ei dymer a larieiddiai, mewn rhyw radd, o ochr y brenin Agrippa, deisyfiad pa un ni allai amgen na'i olygu yn gyson â chyfiawnder ac â rheswm; ac oddiwrth ostyngeiddrwydd gofyniad yr hwn ni fedrai attal gradd o gymmeradwyaeth. Ar amserau eraill, yn ol gwahanol gynnyrfiadau ei feddwl, yr ydoedd yn beio ac yn cymmeradwyo ymddygiad Agrippa. Barnodd yn llymdost ar y brenin am y zêl anarferol a ddangosodd tros ei gydwladwyr, y rhai a wyddai efe eu bod yr unig bobl ag oedd dueddol i wrthwynebu cyssegriad neu gyflwyniad y ddelw: ond fe addefodd fod ymddygiad Agrippa tan arweiniad yspryd mawr ac ardderchog, a'i fod yn haeddu cymmeradwyaeth am ei haelioni a'r hynawsedd â pha un yr adroddasai ei feddwl yn ddiduedd.

Wedi bwrw enyd o amser yn sylwi ar lythyr Agrippa, meddwl Caligula yn raddol a ddaeth yn fwy tawel; ac efe, o'r diwedd, a benderfynodd estyn ei hynawsedd i'r Iuddewon. Fe ddanfonodd lythyr yn attebiad i'r un a dderbyniasai oddi wrth Agrippa, yn amlygu fod eiriolaeth y brenin wedi llwyddo i'w ynnill i alw yn ol y gorchymmyn ymherthynas i gyflwyniad y ddelw. Ar yr un pryd fe ysgrifenodd at Petronius, rhaglaw Syria, gan hyspysu iddo fod cyfnewidiad wedi cymmeryd lle yn ei feddyliau, ac mai ei ewyllys pen arglwyddiaethol yn awr ydoedd cadw teml Jerusalem oddiwrth bob math o halogiad. Ond fel na byddai i'r gwaharddiad weithredu yn yr amser a ddeuai mewn modd anghyttunol iddo ef, rhoddodd yr ymerawdwr ammod i mewn yn y llythyr, o duedd-iad tra arswydus i'r Iuddewon, ac fe'i nodwyd mewn geiriau cyffelyb i'r rhai canlynol: "Ond fe benderfynir, os bydd i un person, o ba enw bynnag, olygu ein hewyllys gyd â'r fath ammharch ag i gynnyg un math o rwystr neu wrthwynebiad i gyssegru temlau, alloran, neu ddelwau, er ein hanrhydedd ein hun, neu ryw ganghennau o'n teulu ymerodrol, mewn unrhyw ddinas, tref, neu le arall, oddigerth yn unig prif-ddinas Judea, a elwir Jerusalem; pob rhai o'r cyfryw bersonau a droseddant felly a gospir yn y fan ar weithred o anufudd-dod i'n gorchymmyn pendant hwn; neu os metha hynny, darostynger ef i'n goruchel ewyllys, mewn trefn i osod y fath gospau arno ag a farner yn addas i'w drosedd."

Y llinellau uchod oeddynt mewn effaith yn galw yn ol esgusodiad yr ymerawdwr a'i ffafr i deml Jerusalem. Yn fyr, yr ydoedd yn gosod sail i derfysg gwladol. Fe ddisgwyliwyd yn gyffredin y byddai i elynion y bobl Iuddewig, mewn ffordd o gyssegr-yspail, gyflwyno delwau trwy holl barthau'r wlad, yn esgus y gorchymmyn a ddanfonasid allan gan yr ymerawdwr: ond fe ddychymygwyd na thueddid hwy i'r ymddygiad hwn yn gymmaint o ran parch i Caligula, ag o elyniaeth tu ag at yr Iuddewon. Ein gelynion a dybiasant na fyddai i'r Iuddewon ar un ystyriaeth ymostwng yn amyneddgar i fod yn dystion o halogiad eu cyfreithiau, y rhai a olygent bob amser gyd â'r parch mwyaf cyssegredig; ac y byddai eu gwrthwynebiad i'w orchymmyn gythruddo'r ymerawdwr mor fawr, fel, mewn trefn i'w cospi am eu hanufudd-dod, y byddai iddo adnewyddu ei orchymmyn i gyflwyno'r ddelw yn ynghyssegr y deml sanctaidd.

Ond er cymmaint rheswm oedd yn ymddangos i gyfiawnhau'r disgwyliad o derfysg gwladol, trefn Dwyfol Ragluniaeth ydoedd cynnal rheol.

dda, a disgybliaeth ym mhlith y bobl: ac nid oedd dim annrhefn yn ymddangos yn fygythiedig. Er i'r lliaws amlygu eu tueddrwydd i gadw eu mesurau o fewn terfynu cymmedrolder; nid oedd ein hachosion, er ymddangos o honynt yn ffafrol i'r golwg, mewn un modd yn fwy llwyddiannus; canys yr ymerawdwr a fu edifar ganddo y penderfyniad a wnaethai yn ddiweddar o'n tu ni, ac a adnewyddodd ei amcan o'r blaen o gyflwyniad neu gyssegriad y ddelw.

Rhag i'r lliaws gael eu cyffroi i wrthwynebu y mesur, ni soniwyd ymhellach am y weithred o barottoi y ddelw yn Sidon: ond Caligula a roddes orchymmyn i un gael ei gwneuthur yn Rhufain; a bod i'r lluniad hwn gael ei gyfansoddi o gopr, a'i oreuro yn harddwych. Gorchymynodd hefyd fod i gymmaint gofal ag oedd bosibl gael ei gymmeryd i drosglwyddo y ddelw yn ddirgel ar hyd y môr y Jerusalem; ac arfer y fath fesurau ag a alluogai'r bobl a ddefnyddid yn y gorchwyl hwn i osod i fynu y ddelw yn y deml, cyn i'r Iuddewon wybod yn iawn am y mater: a mordaith Caligula i'r Aipht oedd i roddi cyfleustra i gyflawni yr amcan hwn, pa un oedd i ymddangos fel gweithred ewyllysgar o eiddo'r bobl, heb gymmaint a'i bod yn adnabyddus i'r ymerawdwr.

Caligula a gynhwysodd ddymuniad gwresog i ymweled ag Alexandria; ac fe barodd na fyddai i ddim cost gael ei arbed i wneud parottoad o bob angenrheidiau a dueddai i wneuthur y daith yn gyflëus ac yn gyssurus. Gan mai Alexandria oedd prif-ddinas yr Aipht, ac ar gyfrif ei manteisiol sefyllfa, yn lle o fasnach cyffredinol, Caligula a feddyliodd na fyddai i esiampl y ddinas honno fethu bod yn annogaeth i ddinas oedd o lai ystyriaeth, tra'r oedd pobl yn gorph cynnulledig i'w golygu megis yn dwyn cyffelybiaeth i rai yn yr amgylchiad o lywodraethu eu hymddygiadau yn gyttun ag esiampl eu goruwch-raddolion. Oddi yma gan, hynny, fe feddyliodd na allai benderfynu ynghylch sefyllfa ym mha un y byddai i fwy tebygolrwydd o lwyddiant gyd fyned â'i ffol-ddyfais o gleimio iddo ei hun yr anrhydedd cyhoeddus o dduwiolaeth.

Yr ymerawdwr ydoedd wrth natur o dymmer gyfnewidiol, ddialgar, a chreulon, a'r dywediad hwn a gyfiawnheir yn llawn wrth y siamplau canlynol. Wedi adferyd nifer o garcharorion i ryddid, efe ar fyrder a orchymynodd eu caethgarcharu drachefn, a pheri i'w sefyllfa fod yn anfeidrol fwy annioddefol na'r hyn a brofasent o'r blaen, trwy eu hymddifadu o bob gobaith o ryddhad mwyach, er na chaed un achos neillduol i gyfiawnhau eu caethiwed. Personau eraill ag ydoedd yn anghydwybodol o euogrwydd, a ddaethant yn wrthddrychau o anfoddlonrwydd y gorthrymwr: a chan wybod y byddai i'w tynghedfen gael ei phenderfynu gan farnwr cydradd ag ef mewn dieithrwch i drugaredd a chyfiawnder, hwy a'i hystyriasant fel matter o sicrwydd y byddai i ddedryd o farwolaeth gael ei datgan arnynt hwy: ond hwy, pa fodd bynnag, a yrrwyd i alltudiaeth. Ac er eu perffaith ddiniweidrwydd, hwy a gyfrifasant y ddedryd yma fel prawf o dynerwch mawr, wrth ystyried dull yr hwn oedd yn gweithredu yn lle barnwr. Yn fyr, hwy a aethant i alltudiaeth, gan feddwl eu hunain yn happus eu bod wedi diangc rhag triniaeth mwy llym, ac a ymostyngasant yn amyneddgar i'w trallodion, gan ymddwyn eu hunain mewn dull anrhydeddus ac uniondeb difrycheulyd. Mewn byr amser, pa fodd bynnag, gorchymynodd yr ymerawdwr lu o filwyr i fyned a lladd yr alltudiaid hynny: ac wedi cyflawni y weithred ddiddynoliaeth hon, nid oedd yn ei allu ddangos un achos cyfiawn o'r fath ymddygiad anarferol: canys ni chawsai un math o dramgwydd oddi wrthynt, gan fod y dioddefwyr truain wedi ymddwyn gyd â'r fath gallineb a gweddeidd-dra ag i ochelyd pob peth a allai gynhyrfu creulondeb y gormeswr. Ar yr achlysur o'r ddamwain alaethus hon, yr holl deuluoedd ardderchog yn Rhufain a ddodasant eu hunain mewn galarwisgoedd, yn dystiolaeth o'u gofidiau am lofruddiad creulon eu cyfeillion a'u perthynasau.

Pan ymadawai'r ymerawdwr ag arian, byddai hynny gyd â bwriad o drais, a chyd â rhagfyfyriad i effeithio dinystr y rhai a'u derbynient. Ni chyfaddefai fyth fod yr arian i'w hystyried megis rhodd, neu fenthyg, am ba rai y byddai llog i'w dalu; ond a gymmerai arno yn wastadol eu bod wedi eu lledratta, neu eu meddianu mewn ffordd dwyllodrus. Ni chymmellid y bobl annedwydd i wneud ad-daliad yn unig,

ond rhoddi i fynu i Caligula eu holl feddiannau, pa un bynnag a ddaethant yn berchennogion o honynt trwy dreftadaeth, neu ddarfod iddynt eu hennill trwy eu llafur a'u diwydrwydd eu hunain.

Arferiad Caligula ydoedd difetha eiddo, neu olud y bobl a ddychymmygent eu hunain yn cael eu hanrhydeddu â'i barchedigaeth mwyaf neillduol. Trwy areithiad moesol, ac ymddangosiad o gyfeillgarwch, fe'u denai i arlwyo gwleddoedd iddo ar draul aneirif. I'r diben i ryngu bodd yr ymerawdwr ar yr achosion o'r gwleddoedd hyn, dyfais a luniwyd ynghylch datguddio'r moddion i beri llawn foddlonrwydd i'r gloddest mwyaf perffaith: ac fe ddigwyddai yn fynych i wychder a helaethrwydd un wledd fod mor fawr, ag i'r draul a fyddai arni ddifetha meddiannau teuluoedd cyfain; ac, heblaw hynny, a feichiai eraill â dyled, fel na allent fyth ddisgwyl fod mewn amgylchiad i allu rhyddhau eu hunain oddi wrtho. Pobl o ddealltwriaeth, pa fodd bynnag, a ragwelent amcan ymddangosiad golygus Caligula; ac yn lle ymdrechu i ennill ei ffafr, hwy a ochelent dynnu cyfeillach âg ef, yr hyn a ystyrient fel hudoliaeth beryglus i'w dwyn i ddinystr.

Y cyfryw ydoedd tueddrwydd Caligula. Nid oedd neb rhyw bobl, yn erbyn pa rai y meddiannodd gymmaint o gasineb marwol a'r Iuddewon; a hwy a brofasant yr effaith mwyaf o'i dymmer greulon a didosturi. Fe ddechreuodd ei ymddygiad gorthrymus yn Alexandria, lle y gyrrodd yr Iuddewon allan o'u synagogau, ac a osododd i fynu ei ddelwau ei hun yn yr adeiladau hynny, lle nad oedd ein pobl ni, wedi eu brawychu âg ystyriaeth o'i fawr awdurdod, yn meiddio gwrthwynebu ei gabledd erchyll a halogedig. Teml Jerusalem ydoedd yn awr yr unig le cyssegredig oedd yn aros heb ei dreisio; a'r ymerawdwr ydoedd a chanddo y rhyfyg o ddilyn mesurau tu ag at neillduo'r adeilad sanctaidd honno i'w wasanaeth a'i anrhydedd ei hun, tan yr enw o "Deml y Jupiter newydd, yr ardderchog Caius Caligula."

Dull ymddygiad Caligula, sydd yn rhoddi i ni yr arwydd mwyaf hynod a ellir ei gael o drahausdra, diddynoliaeth, a chabledd ammharchus tu ag at y Creawdwr hollalluog. Awdurdod ar yr holl fyd ydoedd yn anghydradd â boddlonrwydd ei awyddfryd afradlon, eithr efe a fynnai ymdderchafu yn annuwiol i oruwcharglwyddiaeth y Nefoedd! A elli di ddychymmygu, Caligula, nad y Gallu Anfeidrol a'i creodd, sydd yn addas i'r teitl o gynnaliwr y byd. Ai ni chaniattei i ddinas, teml, neu unrhyw ran o'r belen ddaearol, i gael ei neillduo i'r Uchel Dduw, lle y gall dynion gyfaddef y parch duwiol y maent yn ei gynnwys tu ag at ei Fawrhydi Dwyfol. Nid oes gennych ond ychydig amgyffred, Caligula, o'r blinderau erchyll ym mha rai y suddwch eich hun, a'r holl ymerodraeth trwy barhau yn eich amcanion cableddus, y cyflawniad o ba rai sydd tu hwnt i allu o bosiblrwydd: ond eich rhyfyg anghymmedrol sydd gymmaint, na all y dychymmyg o hono fethu meddiannu dynion o lai dirywiaeth na chwi eich hun, â dychryn ac â ffieiddiad.

## PENNOD XI.

ANGENRHAID yw yn awr i ni fyned ym mlaen i adrodd rhai pethau neillduol a ddaethant o amgylch mewn perthynas i sylwedd ein cennadwri oddiwrth Iuddewon Alexandria at yr ymerawdwr Caius Caligula. Yr amser wedi dyfod i ni gael ein gwrando, nyni a ddygwyd i mewn o flaen yr ymerawdwr; gerwindeb wynebpryd a llym edrychiad pa un a gymmerasom yn arwydd sicr ei fod i'w ystyried yn elyn creulon, yn hytrach na barnwr diduedd. Yn barottoad i roi barn uniawn ar fater mor bwysfawr, buasai dyn diduedd, gyd â chynnorthwy ei gyngor, yn chwilio yn ofalus i mewn i amgylchiad yr achos; ac wedi ei wrando, ei ddwys ystyried, a chymharu yn ddiduedd bethau perthynol i bob plaid, datgau yn gyhoeddus ei feddyliau y'mherthynas i'r unrhyw. Ond Caligula a esgusododd ddwyn hyn i mewn, a phob ffurfiau barnol eraill. Mor bwysig oedd yr achos a ymddiriedwyd i ni, fel ar y canlyniad o hono yr oedd rhagorfreintiau, ac hyd yn oed fywydau lliaws aneirif o Iuddewon ag oedd yn preswylio yn Alexandria yn ymddibynnu. Y rhagorfreintiau tros ba rai yr oedd yr Iuddewon yn dadleu, oeddynt â sail mor gyfiawn iddynt, fel tros yspaid pedwar cant o flynyddau eu gofynion a barhausant yn ddiwrthddadl. Yn lle ymddwyn tu ag attom gyd â diduedd garwch

a chymmedroldeb perthynol i farnwr, a chydffurfio â'r drefn arferedig o uniondeb a chyfiawnder, y gorthrymwr diddynol a'n triniodd âg ammharch a diystyrwch a brofasai yn anfri i gaeth-weision mwyaf dirmygus.

Yr ymerawdwr er's tri neu bedwar o ddyddiau a giliasai i'r gerddi oedd â'u sefyllfa rhwng y palas a'r dref, ac a feddiannid gan Maecenas a Lamias. Ar ddymuniad Caligula y garddwyr a alwyd o'i flaen: ac fe orchymmynodd iddynt agor y gwahanol ddorau, gan ddywedyd ei fod yn chwennych rhodio yno i fwynhau awyr iach, a difyrru ei hun wrth sylwi ar y gwrthddrychau hynod oedd yn aml yno; a rhoddodd yn awr orchymmyn i'n gollwng ninnau i mewn. Ar ein hymddangosiad o flaen yr ymerawdwr, nyni a syrthiasom wrth ei draed, gan lefaru wrtho tan y teitlau o ymerawdwr ac Augustus, a chan roddi arwyddion eraill o barch a gostyngeiddrwydd mwyaf. Caligula a ddychwelodd ein cyfarchiad mewn modd ag a amlygodd i ni y byddai i'n gofyniadau gael eu gwrthod, a bod ein bywydau mewn perygl. O'r diwedd, gyd â gwên faleisus, yr ymerawdwr yn fyrbwyll a lefarodd wrthym yn y modd canlynol: "Tebygaf eich bod yn perthyn i'r frawdoliaeth atgas ag sydd yn trahaus ddirmygu fy mherson, trwy offrymmu addoliadau i dduw di-enw, pan y mae eraill o'r byd oll yn talu ufudd-dod ewyllysgar i dduwiolaeth Caligula." Efe yn awr a ddyrchafodd ei ddwylaw tu a'r nefoedd, ac mewn poethder mawr a lefarodd eiriau rhy erchyll i'w hadrodd. Ymddygiad Caligula a ddeallwyd gan ein gelynion fel cyhoeddiad o'u hochr hwynt; a chan fod yn analluog i guddio eu llawenydd ar yr achos hwn, hwy a gyfrifasant i'r ymerawdwr bob priodoledd, enw, ac anrhydedd perthynol i'r Hollalluog Dduw!

Dyn a enwyd Isidore, o duedd wenieithgar a bradwriaethus, yn sylwi ar y boddlondeb neillduol gyd â'r hwn y gwrandawodd yr ymerawdwr ar y teitlau ardderchog a roddid iddo, a gymmerodd achlysur i lefaru wrtho eiriau cyffelyb i'r hyn a ganlyn: "Eich anfoddlonrwydd, Syr, a fyddai yn fwy tu ag at y bobl hyn, yn gystal a'r rhai a'u danfonodd, pe byddech yn adnabyddus o'r casineb sydd ganddynt tu ag at eich person. Yr Iuddewon oedd yr unig bobl a attaliasant eu cydsyniad pan oedd addunedau ac ymbiliau yn cael eu gosod i fynu tros gynhaliaeth bywyd, a llwyddiant teyrnasiad yr ymerodrol Caligula." Ar hyn nyni a gydlefasom allan, "Yr ydym yn cael ein henllibio yn haerllug wrth eich mawrhydi: nyni a aberthasom gannoedd cyfain o anifeiliaid tros hir einioes, dedwyddwch, a llwyddiant Cæsar. Ac ar ol taenellu gwaed y creaduriaid ar yr allor, ni ddarfu i ni, yn ol arferiad llawer o bobl, gymmeryd ymaith y cig i'r diben i borthi ein hunain, ond rhoddasom i fynu yr holl aberth i'w difa gan dân. Tri o wahanol weithiau y gwnaethom hyn yn anrhydedd i Caligula. Yn gyntaf, ar yr achlysur o'ch dyrchafiad i'r mawredd ymerodrol; yn ail, ar eich adferiad i iechyd o anhwyldeb peryglus, yr hyn a brofasai yn gystudd anhraethol i amryw genedlaethau; ac yn drydydd, pan osodasom i fynu addunedau ac ymbiliau tros lwyddiant eich byddinoedd yn yr Allmaen."

"Yr wyf yn cydnabod (ebe y ffromwyllt Caligula) ddarfod i chwi offrymmu i fynu aberthau; ond ni fwriadwyd hwynt er anrhydedd i mi; offrymmau oeddynt i ddwyfoldeb anadnabyddus a dychymmygol." Wrth wrando'r cabledd erchyll hwn, cryndod a dreiddiodd trwy ein holl gyrph, a rhediad y gwaed a attaliwyd yn ein gwythïau.

Yr ymerawdwr a aeth yn awr i olygu y gwahanol gelloedd o'r swydd-dai cyffredin, i ystefyll y gwleddoedd; gan bennodi allan yr hyn a gyfrifodd yn ddiffygiol ynddynt, a gorchymmyn ynghylch diwygiad ag oedd yn ewyllysio ei wneuthur arnynt. Nyni a ganlynasom yr ymerawdwr o'r naill le i'r llall, a'n gelynion yn ein gwneuthur yn wrthddrychau o'u gwawd a'u dirmyg. Ac â chennym y fath farnwr anghyfiawn, a gelyn anymbilgar ym mherson yr ymerawdwr, tybiasom yn gallineb i ni aros yn ddistaw, gan ystyried hynny fel ein hunig amddifyn; canys y rhesymau mwyaf cedyrn ni allent gynnorthwyo ein hachos, ac nid oeddym yn ewyllysio cythruddo'r gorthrymmwr i ddangos pellach diystyrwch i'n crefydd.

Wedi rhoddi cyfarwyddyd ymerthynas i'r adeiladau, Caligula a ofynodd i ni gyd â dwysder rhagrithiol, "Yr wyf yn deisyf cael gwybod beth yw y rheswm sydd gennych am barhau

mor wrthnysig i ommedd ymborthi ar gig moch?" Ar hyn ein gwrthwynebwyr a dorrasant allan i dymmer o chwerthin, yr hyn a barwyd mewn rhan gan wawd yr ymholiad, a chyd â golwg i ennill ffafr yr ymerawdwr, trwy gymmeryd arnynt ryfeddu ei hawnt a bywiogrwydd ei dymmer. Rhai personau o ragoriaeth, y rhai oeddynt yn meddiannu rhan fwy o foesau nag eraill, a geryddasant ymddygiad y bobl hyn, megis ei fod yn dra anweddus ymhresennoldeb yr ymerawdwr; gan 'chwanegu nad oedd y fath ryddid i gael ei esgusodi ond ym mhlith personau cyd-raddol yn byw ar ammodau o gymdeithasrwydd a chyfeillgarwch.

Yn attebiad i ofyniad yr ymerawdwr y'mherthynas i gig moch, dywedasom, fod amrywiaeth o ymarferiadau a defodau yn cael eu defnyddio mewn gwahanol leoedd, ac yn mysg gwahanol bobl: ein bod ni yn addef fod arferiad o ryw bethau yn cael eu gwahardd i ni; ond a ddymunasom sylwi ar yr un pryd, fod ein gwrthwynebwyr tan waharddiad i ddefnyddio rhai pethau. Dywedwyd gan un o'r cwmpeini, fod rhai pobl yn gwrthod bwytta cig defaid. "Y bobl ag a ommeddant ymborthi ar gig defaid (ebe Caligula) ydynt yn sicr yn haeddiannol o ganmoliaeth; oblegid nad yw mewn un modd yn gyttunol â'r archwaeth;" a'r geiriau hyn a ddywedodd gyd â gwên. Rhaid cyfaddef i'r goganau dirmygus yma brofi yn chwanegiad at ein gofidiau. O'r diwedd llefarodd yr ymerawdwr wrthym mewn modd ethrywyllt, gan ofyn ar ba sail yr oeddym ni yn cleimio y rhagorfreintiau o ddinasyddion. Nyni yn uniongyrch a aethom ym mlaen i ddwyn rhesymmau i amddiffyn ein hawl: ond wrth i'r ymerawdwr sylwi eu bod wedi eu sylfaenu ar y fath gyfiawnder, fel yr oeddynt yn anwrthddadleuol; a chan feddwl fod yn ein gallu ddwyn rhesymmau eraill o fwy cadarnwch, efe yn fyrbwyll a dorrodd ar yr ymddiddan, a chan neidio yn ddisymmwth o'i eisteddle, fe brysurodd ymaith i'r neuadd fawr. Wedi rhodio tros amser yn y lle hwn, rhoddodd orchymmyn i gau y ffenestri. Gwydr y ffenestri hyn ydoedd mor ddisglaer a llewyrchol, a'i wneuthuriad ydoedd yn y fath fodd a'i fod yn cadw allan yr haul yn gystal a'r gwynt, ac etto yn gollwng i mewn y goleuni. Yn fuan ar ol hyn fe nesaodd attom yn arafaidd a chyd â llais tawel fe ofynodd i ni, pa ddeisyfiadau oedd gennym i wneuthur atto ef? Yn awr ni a fwriadasom gyflëu ein hachos ger ei fron mewn cyn lleied o eiriau ag oedd bossibl: ond yn lle gwrando arnom, Caligula yn ddisymmwth a ymadawodd, ac a aeth i mewn i ystafell ym mha un y gorweddai casgliad gwerthfawr o arliwiau, o waith pen-celfyddwyr hynafiaethol o fwyaf hynodrwydd.

Wedi cyfarfod â rhwystrau ac aflonyddwch dilynol i benderfynu ein hachos, a'r mesurau gofidus a gymmerwyd i'n blino a'n hammherchu â chaeth-ddisgwyliad wrth dywysog trahaus, anwadal a chreulon, a ddaeth o'r diwedd yn flinder annioddefol; a nyni a farnasom, tan y siommedigaethau arswydus a brofasem, mai'r ymddygiad mwyaf cymmeradwy a allem arferyd, ydoedd gwneud y parottoad angenrheidiol i farw.

Yn y cyfyngder hwn, nyni a ddarostyngasom ein hunain o flaen gorsedd y Duw goruchaf, Creawdwr y nefoedd a'r ddaear, gan offrymu i fynu addoliadau i'w ddwyfol Fawrhydi, ac ymbil yn daer ar fod iddo, o'i anfeidrol drugaredd, weled yn dda droi ymaith gynddaredd a bygythiau, trwy effaith pa rai y peryglid ei ostyngedig a'i ffyddlon weision gan orthrymwr cableddus. Yr Hollalluog a welodd yn dda dosturio wrth amgylchiad truenus ei ymbilwyr cystuddiedig, a chymmedroli llidiowgrwydd yr erlidiwr. Yn fyr, Caligula a beidiodd â myned rhagddo mewn ysgelerder pellach yn ein herbyn; ond fe barodd i ni gilio ymaith, gan ddywedyd yn unig y geiriau canlynol, "Y bobl hyn ag sy'n gwrthod fy anrhydeddu i fel person dwyfol, yr wyf yn eu hystyried yn hytrach yn anhappus nag yn feïus."

Yn y modd uchod yr achubwyd ni o'n sefyllfa druenus: gallwn yn wir ddywedyd ein hachub o garchar neu chwareudŷ. Yr wyf yn crybwyll am chwareudŷ, o herwydd ein gwneud yn wrthddrychau o wawd, dirmyg a chwerthiniad, gyd â phob diystyrwch arall: y caledi mwyaf mewn carchar a fuasai yn anfeidrol fwy dioddefgar na'r gofidiau a brofodd ein heneidiau wrth wrando'r cableddau ffiaidd a draethwyd gan Caligula, neu'r ystyriaeth o'n bod yn hollol ddarostyngedig i awdurdod tywysog diddynol, cyfnewidiol, a chreulon. Yr Iuddewon

ydoedd yr unig bobl yn y byd a ommeddasant dalu dwyfol anrhydedd a pharch i Caligula, a hwy a gydbarhausant yn y meddwl hwn, er holl allu ac awdurdod y gorthrymwr. Yr anghyfnewidioldeb gwastadol a ddangosasant i gadw eu cyfreithiau sanctaidd yn ddidrais: hyn oedd dechreuad, a'r unig achos o elyniaeth a chynddaredd y gorthrymwr.

Nyni yn awr a gawsom beth gorphwysiad oddiwrth ein trallodion. Eithr nid ydys i'w ddeall ein bod ni wedi ein brawychu gan ofn marwolaeth: yn y gwrthwyneb, i roddi i fynu ein bywydau er lleshad i achos cyffredin ein gwlad, ac er amddiffyniad i ddefodau ein crefydd, nyni a'i cyfrifasem yn fendith fwyaf ag a allasai natur ddynol ei chyrhaeddyd. Yn y sefyllfa i ba un i'n darostyngasid, ni allasai ein marwolaeth beri effeithiau daionus, ond a fuasai yn achlysur o anglod i'n danfonwyr, os na thueddasai i ddinystr ein hachos. Pan brofo cennadwyr yn aflwyddiannus yn eu cennadwriaeth, y methiant a gyfrifir yn gyffredin i drefn ammhriodol eu pennaethiaid. Ar yr ystyriaeth yma, nyni a gyfrifasom ein hunain yn ddedwydd trwy ddarfod i ni ddiangc rhag y niweid bygythiol: ond yr oeddym etto yn ddychrynllyd ofidus ar gyfrif y ddedryd ag oedd yr ymerawdwr i'w chyhoeddi; canys nid oedd bossibl iddo allu barnu ymherthynas i uniondeb ein cais a'n dymuniad, gan nad ymostyngasai i gymmeryd ei hyspysu ynghylch y pethau neillduol a osodid o'i flaen. Buasai yn amgylchiad tra thruenus, pe gorfuasai i liaws aneirif y bobl ag oedd yn cyfansoddi y genedl Iuddewig, ymostwng i'r driniaeth chwerw a brofodd eu pump cennadwyr. Pe buasai yr ymerawdwr yn penderfynu yr achos o du'r Alexandriaid, buasai raid i ni ddisgwyl erledigaethau ym mhob lle arall. Ein preswylfeydd a'n crefydd-dai, a mannau eraill a drefnasid i achosion crefyddol a ddinystriasid; a chyfreithiau cyssegredig, a defodau crefyddol ein hynafiaid a fuasent wedi eu llwyr ddiddymmu; ac fel hyn, wedi ein torri oddiwrth bob gobaith o ymwared rhag ein gofidus orthrymder, y baich o fywyd a ddaethai yn annioddefol. Wedi ein darostwng i'r cyflwr mwyaf gresynus ag oedd bosibl i'r natur ddynol ymgynnal tano, nyni a adawyd yn fradychus gan ein cyfeillion damweiniol, ar ba rai y gosodasem ein gobaith pennaf am gynnorthwy; a'r rhai ag oeddynt yn gydwybodol o gyfiawnder ein hachos, ac o oferedd anghymmedrol a rhyfyg Caligula, yn gofyn parchedigaeth cyhoeddus duwdod.

# *BYWYD

# FLAVIUS JOSEPHUS.

---

Y TEULU o ba un y tarddais nid oedd yn anenwog; ond sydd â'i ddisgyniad yn olynol oddiwrth yr offeiriaid. Ac fel y mae boneddigeiddrwydd ym mysg amryw bobl ag iddo wahanol ddechreuad; felly gyd â ni, i fod yn perthyn i'r urddas offeiriadol sy'n arwyddo enwogrwydd y teulu. Yn awr y mae fy nharddiad i, nid yn unig o'r tylwyth offeiriadol yn gyffredin, ond o'r cyntaf o'r † pedwar ar hugain dydd-gylch. Ac megis yn ein mysg ni y mae gwahaniaeth nid ychydig rhwng teulu y naill ddydd-gylch a'r llall; ond myfi ydwyf o'r teulu pennaf yn y dydd-gylch blaenorol hwnnw. Ië, o du fy mam yr ydwyf o'r gwaed brenhinol. Canys meibion Asmoneus, o ba rai y tarddodd y teulu hwnnw, ydoedd â chanddynt yr archoffeiriadaeth, a'r mawredd brenhinol yn gyd-feddiannol tros hir amser. Bydd i mi gan hynny osod i lawr henwau fy henafiaid mewn trefn reolaidd.

Fy nhaid ydoedd â'i enw Simon, gyd â'r chwanegiad o Pselleus. Yr oedd efe yn byw yr un amser a mab Simon, yr archoffeiriad, yr hwn gyntaf oll o'r archoffeiriaid a gyfenwid ‡ Hyrcanus. I'r Simon Pselleus hwn yr ydoedd naw o feibion: un o ba rai ydoedd Mathias, yr hwn a elwid hefyd Ephlias. Efe a briododd ferch Jonathan, yr archoffeiriad: yr hwn Jonathan oedd y cyntaf o feibion Asmoneus, a'r hwn ydoedd archoffeiriad, a brawd Simon yr archoffeiriad hefyd. I'r Mathias hwn yr oedd mab a elwid Mathias Curtus; a hynny yn y flwyddyn § gyntaf o lywodraethiad Hyrcanus. Enw ei fab oedd Joseph; wedi ei eni yn y ‖ nawfed flwyddyn o deyrnasiad Alexandra. Ei fab Mathias a anwyd yn y ¶ ddegfed flwyddyn o deyrnasiad Archelaus: megis ag y ganwyd fi i Mathias ar y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Caius Cæsar. ** Y mae i mi dri o febion: Hyrcanus, yr hynaf, a anwyd ar y * bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Vespasian, megis ag y ganwyd Justus yn y † seithfed, ac Agrippa ar y ‡ nawfed. Fel hyn y gosodais i lawr achau fy nheulu, fel ag ei cefais wedi ei ddescrifio yn y § coffadwriaethau cyffredin: ac felly y cymmeraf fy nghennad ar fy ymadawiad â'r rhai a ddywedant fy mod o waelach dechreuad.

Yn awr fy nhad Mathias ydoedd nid yn unig yn enwog ar gyfrif boneddigrwydd ei dylwyth, ond a ydoedd ag uwch cymmeradwyad iddo o herwydd ei gyfiawnder; ac a ydoedd mewn parch mawr yn Jerusalem, y ddinas benaf oedd gennym. Dygwyd fi fy hun i fynu gyd â fy

---

* D. S. Josephus a ysgrifenodd, neu o'r hyn lleiaf a orphenodd yr hanes yma o'i fywyd ei hun, fel 'chwanegiad at ei Hynafiaethau, ar ol y drydedd flwyddyn o deyrnasiad yr ymerawdwr Trajan, B. A. 100, ac o leiaf saith mlynedd wedi gorphen o hono ei Hynafiaethau.

† Gallwn oddi yma ddiwygio cyfeiliornad copi Lladinaidd yr II. lyfr yn erbyn Apion, (canys y Groeg yno sydd wedi myned yn ngholl;) yr hwn a ddywed nad oedd y pryd hwnnw ond yn unig bedwar llwyth neu gylchoedd o archoffeiriaid, yn lle pedwar ar hugain. Ac nid yw y dystiolaeth hon i'w hesgeuluso, fel pe byddai Josephus yno yn gwrthddywedyd yr hyn a gadarnhasai yma: o herwydd fod y cyfrif a roddir yno yn cyttuno yn well â phedwar ar hugain nag â phedwar o ddyddgylchoedd: tra y mae efe yn dywedyd, fod pob un o'r cylchoedd hyn yn cynnwys uwchlaw 5000 o ddynion; yr hyn wedi ei liosogi yn unig â phedwar, ni wna ragor nag 20,000 o offeiriaid: pryd y bydd i'r nifer o 120,000, megis wedi ei liosogi â phedwar ar hugain, ymddangos lawer mwy tebygol, gan eu bod y'nghylch y ddegfed ran o'r holl bobl, hyd yn oed ar ol y caethiwed. Gwel Ezra ii, 36---39. Neh. vii. 39---42. 1 Esdr. v. 24, 25. gyd âg Ezra ii. 64. Neh. vii. 66. 1 Esdr. v. 41. Ac ni chyttuna y darlleniad cyffredin, neu'r dychymmyg am bedwar dyddgylch o offeiriaid, â dywediad Josephus mewn lle arall. Hynaf. VII. 14. i fod y dosparthiad gan Dafydd o'r offeiriaid yn bedwar ar hugain o gylchoedd, wedi parhau hyd y dydd hwnnw.

‡ Gwel Hynaf. XVIII. 4. § C. C. 134. ‖ Bl. 70. ¶ B. A. 7.
** B. A. 37. * B. A. 72. † B. A. 75. ‡ B. A. 77.

§ Siampl odidog a welir yma o ofal yr Iuddewon am eu hachau, yn enwedig ymherthynas i'r offeiriaid.

mrawd, enw pa un oedd Mathias: canys fy mrawd fy hun ydoedd ef, o du fy nhad a'm mam: ac mi a gynnyddais yn fawr yn fy nysgeidiaeth: ac a ymddangosais fy mod yn meddu ar gof a dealltwriaeth helaeth. Ymhellach, pan oeddwn yn blentyn, ynghylch pedair blwydd ar ddeg o oedran, yr oeddwn yn cael canmoliaeth gan bawb, ar gyfrif fy hoffder o ddysgeidiaeth. Ar ba ryw gyfrif daeth yr archoffeiriaid a phenaethiaid y ddinas yn fynych attaf, mewn trefn i wybod fy nhuedd at fanwl ddealltwriaeth o byngciau'r ddeddf neu'r gyfraith. A phan oeddwn ynghylch un ar bymtheg o oedran, meddyliais wneuthur prawf o'r amrywiol bleidiau oedd yn ein mysg. Y rhai hyn ydynt dair: y gyntaf yw'r un hynny o Phariseaid; yr ail y Saduceaid; a'r drydydd yr Esseniaid, fel y mynych grybwyllasom o'r blaen. Canys mi feddyliais trwy'r modd yma y gallwn wneuthur dewisiad o'r blaid oreu, wedi dyfod unwaith yn adnabyddus o honynt oll. Felly mi foddlonais fy hun ar fywioliaeth galed, a llawer o anhawsderau, ac a * aethum trwyddynt oll. Ac ni foddlonais fy hun â'r prawf o'r rhai hyn yn unig; ond wedi hyspysu i mi am un a'i enw Banus yn byw yn yr anialwch, a'r nad oedd yn arferyd gwisg o ddim arall ond yr hyn a dyfai ar goedydd, ac nad oedd lluniaeth arall ganddo ond y peth a darddai o hono ei hun; gan ymolch neu ymdrochi ei hun yn fynych mewn dwfr oer, yn gystal y nos a'r dydd, mewn trefn i gadw ei ddiweirdeb. Minneu a'i dilynais yn y pethau hyn, ac a barheais gyd ag ef dair blynedd. Felly wedi i'm gyflawni fy nymuniad, mi ddychwelais yn ol i'r ddinas, a mi yn awr yn bedair ar bymtheg o oedran; ac a ddechreuais ymddwyn fy hun yn ol rheolau y sect o Phariseaid: yr hon sydd o agos berthynas i blaid y Stoiciaid, megis y geilw y Groegiaid hwynt.

Ond pan oeddwn yn y † chwechfed mlwydd ar hugain o'm hoedran, digwyddodd i'm gymmeryd môrdaith i Rufain; a hynny ar yr achos yn awr a ddescrifiaf. Ar yr amser ag yr oedd Felix yn Rhaglaw Judea, yr oedd amryw offeiriaid o'm cydnabyddiaeth, pa rai oeddynt wŷr rhinweddol; ond ar ychydig achos efe a'u dodasai mewn rhwymau, ac a'u danfonodd i Rufain, i ddadleu trostynt eu hunain ger bron Cæsar. Y rhai hyn a ewyllysiais iddynt gael eu rhyddhau: a hynny yn enwedigol o herwydd fy hyspysu nad oeddynt anystyriol o grefydd tu ag at Dduw, hyd yn oed tan eu trallodion; eithr hwy a ddiwallent eu hunain â ‡ ffigys ac â chnau. Yn ganlynol mi ddaethum i Rufain, er ei ddigwydd trwy lawer o beryglon ar y môr. Canys ein llong a gollwyd ym môr Adria, a nyni y rhai oedd ynddi ynghylch § chwe chant o nifer, a nofiasom am ein bywyd yr holl nos hono. Pan ar ymddangosiad cyntaf y dydd, a'r olwg ar long o Cyrene, myfi, a rhai eraill, yn bedwar ugain o refedi, trwy ragluniaeth Duw, a ragflaenasom y lleill, ac a gymmerwyd i fynu i'r llong arall. Ac wedi i mi gael diangfa y modd hwn, a dyfod i Dicearchia, yr hwn le a eilw yr Italiaid Puteoli, daethum yn gydnabyddus ag un Aliturius, chwarëydd, yr hwn ydoedd dra hoff gan Nero, ond yn Iuddew o enedigaeth: a thrwy'r moddion o hono ef daethum yn adnabyddus i Popea, gwraig Cæsar; a chymmerais ofal, mor gynted ag oedd bossibl, i ddeisyf ei chynnorthwy i gael rhyddhad i'r offeiriaid. Ac wedi, heblaw y ffafr yma, i mi dderbyn llawer o anrhegion gan Popea, mi ddychwelais adref drachefn.

Ac yn awr y canfyddais fod gwrthryfel eisoes wedi dechrau; a bod llawer o Iuddewon yn ymdderchafu eu hunain yn fawr, mewn gobaith o ymadawiad oddiwrth y Rhufeiniaid. Gan hynny mi ymdrechais i attal y personau terfysglyd hyn, ac a'u perswadiais i newid eu meddyliau: gan osod o flaen eu llygaid yn erbyn pwy yr oeddynt yn myned i ymladd; a dwyedyd wrthynt eu bod islâw y Rhufeiniaid, nid yn unig yn eu cyfarwyddyd mewn rhyfel, ond hefyd

* Pan y dywed Josephus yma, ddarfod iddo o un ar bymtheg hyd yn bedair ar bymtheg, neu tros dair blynedd, wneuthur profiad o dair math o sectau Iuddewig, y Phariseaid, y Saduceaid, a'r Esseniaid; ac etto a ddywed ar fyr, yn ein holl gopiau, ddarfod iddo aros, heblaw hynny, gyd ag un gwr bucheddol a elwid Banus, dair blynedd. Tybiaf gan hynny, am y geiriau "gyd ag ef," y gallai'r darlleniad gynt fod, "gyd â hwynt;" pa ryw ddiwygiad neu gyfnewidiad nid yw ond ychydig. Ac nid yw dychymmyg y Dr. Hudson, a grybwyllir gan Mr. Hall, yn ei ragymadrodd i gyhoeddiad y Dysgawdwr o Josephus, yn anhebyg oll; y gallai'r Banus hwn fod yn ddilynydd Ioan Fedyddiwr; ac mai oddiwrtho ef y gallai Josephus yn hawdd dderbyn y fath dybiau, ag a barodd iddo yn ol hynny gynnwys meddyliau parchus am Iesu Grist ei hun, yr hwn y dygwyd tystiolaeth am dano gan Ioan Fedyddiwr.

† B. A 63.

‡ Gallwn sylwi yma fod gwŷr crefyddol ym mysg yr Iuddewon, o leiaf y rhai oedd yn offeiriaid, ar brydiau yn ymarbedwyr hefyd; ac megis Daniel, a'i gymdeithion yn Babilon, Dan. i. 8–16. heb fwytta cig, ond ffigys, cnau, &c. Hyn oedd debyg i ymborth gwael y Cristionogion hunan-ymwadol gynt, ar wythnos y dioddefaint.

§ Buwyd yn barnu fod rhifedi St. Paul o hono ei hun a'i gyd-ymdeithyddion ar fwrdd y llong, Act. xxvii. 37. y rhai ydynt 276 yn ein copiau ni, yn nifer ormodol. Pan ydym yn cael yma, fod Josephus, a'i gyd-gymdeithion, ychydig flynyddau ar ol y llall, ynghylch 600.

mewn ffortun dda; ac a ddeisyfais na wnaent yn fyrbwyll, ac mewn modd anghall, ddwyn y drygau mwyaf arswydus ar eu gwlad, ar eu teuluoedd, ac arnynt eu hunain. A hyn a ddywedais gyd â phwys, a difrifol annogaeth; o herwydd fy mod yn rhagweled y byddai diwedd y fath ryfel yn ddinystr mwyaf i ni. Ond ni allwn eu perswadio hwynt; o blegid cynddaredd dynion rhyfygus oedd ry galed i mi.

Ofnais gan hynny, rhag wrth grybwyll y pethau hyn yn rhy fynych, y tynnwn arnaf fy hun eu casineb a'u drwg-dybiad, megis pe buaswn yn un o blaid y gelyn, a rhedeg o honof i'r perygl o gael fy ngoresgyn ganddynt, a'm lladd; gan eu bod eisoes mewn meddiant o Antonia, yr hwn oedd y tŵr neu'r castell. Felly mi a giliais ymaith i gyntedd nesaf i mewn y deml. Etto mi aethum allan o'r deml drachefn, ar ol i * Manahem a blaenoriaid llu'r yspeilwyr gael eu rhoddi i farwolaeth; pan yr arhosais ym mysg yr archoffeiriaid, a blaenoriaid y Phariseaid. Ond ofn nid ychydig a syrthiodd arnom, pan welsom y bobl yn myned tan arfau, pryd na's gwyddem ni ein hunain pa beth i'w wneuthur, ac heb allu attal yr ymbleidwyr. Pa fodd bynnag gan fod y perygl yn uniongyrch yn cyfeirio attom, cymmerasom arnom fod o'r un tyb â hwynt; ond yn unig nyni a'u cynghorem i ymlonyddu tros yr amser presennol; ac i adael i'r gelyn fyned ymaith; gan barhaus obeithio na fyddai ddim yn hir nes i Gessius Florus ddyfod â lluoedd lawer gyd ag ef, ac felly rhoddi terfyn ar y mynediad hwn ym mlaen gan yr ymbleidwyr.

Ond ar ei ddyfodiad i ymladd, † efe a gurwyd, a llawer o'r rhai oedd gyd ag ef a syrthiasant. A'r anglod yma a gafodd Gessius gyd â Cestius, a fu o fawr niweid a blinder i'n cenedl ni. Canys y rhai oedd yn hoffi y rhyfel a ddyrchafwyd mor bell â'r llwyddiant hwn, a gobeithio o honynt o'r diwedd orchfygu y Rhufeiniaid. Yr amgylchiad canlynol hefyd a barodd achlysur arall i'r ymblaid gael ei ddwyn ym mlaen. Y rhai ag oedd yn aros yn ninasoedd cymmydogaethol Syria, a oddiweddasant y cyfryw Iuddewon ag oedd yn aros yn eu mysg, gyd â'u gwragedd, a'u plant, ac a'u lladdasant hwynt; pryd nad oedd ganddynt yr achlysur lleiaf i achwyn yn eu herbyn: canys ni ddangosasent un math o anufudd-dod neu wrthwynebrwydd i'r Rhufeiniaid: ac ni roesent arwydd o gasineb na bradwriaeth yn erbyn y Syriaid. Ond yr hyn a wnaethpwyd gan drigolion ‡ Scythopolis ydoedd gamwedd mwyaf o'r cwbl. Canys pan ddaeth eu gelynion o Iuddewon i'w goresgyn oddi allan, gwnaethant i'r Iuddewon oddi mewn, y rhai a drigent yn eu mysg hwynt, fyned tan arfau yn erbyn eu cyd-genedl; yr hyn sydd § anghyfreithlon i ni ei wneuthur. A phan, trwy eu cynnorthwy hwynt, yr ymgyssylltasant mewn brwydr â'r rhai a'u goddiweddent, ac a'u curasent hwynt; a'r ol y fuddugoliaeth, hwy a anghofiasant y sicrwydd o ffyddlondeb a roesai y rhai hynny i'w cyd-ddinasyddion a'u cyngreirwyr, ac a'u lladdasant oll; a hwy yn ‖ amryw filoedd o rifedi. Y cyffelyb drallodion a aethpwyd tanynt gan yr Iuddewon hynny ag oedd yn preswylio yn Damascus. Ond helaethach cyrif o'r pethau hyn a roddwyd yn llyfrau y Rhyfel Iuddewig. Yr wyf yn unig yn eu crybwyll yn awr, o herwydd y mynwn amlygu i'm darllenyddion, nad oedd rhyfel yr Iuddewon â'r Rhufeiniaid yn wirfoddol; ond, gan mwyaf, hwy yrrasid iddo trwy angenrheidrwydd.

Felly wedi i Gessius gael ei guro, fel y dywedasom eisoes; penaethiaid Jerusalem, wrth weled fod gan yr yspeilwyr a'r gwrthryfelwyr amlder o arfau; a chan ofni rhag iddynt hwy, tra'r oeddynt heb wneuthur parottoad o arfau, orfod ymostwng i'w gelynion, yr hyn hefyd a ddaeth i fod yn ol hynny; a chan hyspysu iddynt fod holl Galilea etto heb droi oddiwrth y Rhufeiniaid, ond fod rhai mannau yn aros yn llonydd; danfonasant fi, a dau o offeiriaid eraill, y rhai oedd wŷr o eirda rhagorol, Joazar a Judas, mewn trefn i berswadio y rhai gwrthryfelgar yno i osod eu harfau i lawr; ac i ddysgu iddynt y wers hon, y byddai well cadw yr arfau hynny i'w harferyd gan y dynion gwrolaf ag a feddai'r genedl, na'u gadael i orwedd yno. Oblegid ddarfod penderfynu, i'n milwyr dewraf fod a'u harfau yn wastad yn barod erbyn yr amser i ddyfod: ond i aros cymmaint ag i weled pa

* Am y Rhyf. II. 17.  † Am y Rhyf. II. 18.

‡ Am y Rhyf. II. 18.

§ Gallai'r Iuddewon gasglu yr anghyfreithlondeb hwn o ymladd yn erbyn eu brodyr, oddiwrth y gyfraith honno gan Moses, Lef. xix. 16. "Na saf yn erbyn gwaed dy gymmydog:" yn gystal â'r adnod honno 18, "Na ddiala, ac na chadw lid i feibion dy bobl; ond câr dy gymmydog megis ti dy hun:" yn gystal ag oddiwrth amryw leoedd eraill yn y Pentateuc a'r Prophwydi. Gwel Hynaf. VIII. 8.

‖ Tair ar ddeg o filoedd.

beth a wnelai y Rhufeiniaid yn gyntaf.

Wedi derbyn o honof y gorchymynion a'r cyfarwyddiadau hyn, myfi a ddaethum i Galilea; a chefais bobl Sepporis mewn ing a thrallod nid ychydig ynghylch eu gwlad; o herwydd fod y Galileaid wedi penderfynu ei hanrheithio, ar gyfrif eu cyweithasrwydd â'r Rhufeiniaid: ac oblegid iddynt roddi eu deheulaw, a gwneuthur cyngrair â Cestius Gallus, rhaglaw Syria. Ond mi a'u rhyddheais oll oddiwrth yr ofnau yr oeddynt ynddo; ac a berswadiais y lliaws i ymddwyn yn garedig tu ag attynt; a chaniatteais iddynt anfon at y rhai ag oedd yn wystlon o honynt eu hunain gyd â Gessius, i Dora, yr hon sydd ddinas o Phœnicia, mor amled ag yr ewyllysient. Er cael o honof etto drigolion Tiberias yn barod i fyned tan arfau, a hynny ar yr achlysur canlynol:

Yr ydoedd tri math o ymbleidwyr yn eu dinas hwynt. Y cyntaf oedd gyfansoddedig o wŷr parchus a difrifol: o'r rhai hyn Julius Capellus ydoedd y pennaf. Yn awr efe, yn gystal a'u holl gymdeithion, Herod mab Miarus, Herod mab Gamalus, a Compsus mab Compsus; (canys am Crispys ei frawd, yr hwn a fuasai unwaith yn llywydd y ddinas tan y * brenin mawr Agrippa, yr oedd efe tu hwnt i'r Iorddonen, yn ei etifeddiaethau ei hun;) a gyngorasant fod i'r ddinas y pryd hynny barhau yn eu hufudd-dod i'r Rhufeiniaid, ac i'r brenin. Ond Pistus, yr hwn a gyfarwyddid gan ei fab Justus, ni chydsyniodd â'r penderfyniad hwnnw. Yn amgen yr oedd efe ei hun o naturiaeth yn un o ymddygiyd da a rhinweddol. Ond yr ail ymblaid a gyfansoddid o ddynion anenwog, ag oedd â'u penderfyniad am ryfel. Ond am Justus, mab Pistus, yr hwn oedd ben y trydydd ymblaid, er iddo ef gymmeryd arno fod yn ammhëus ynghylch myned i ryfel, etto'r ydoedd yn gwir ewyllysio cyfnewidiad llywodraeth; gan feddwl y byddai iddo ynnill awdurdod iddo ei hun trwy gyfnewid trefniadau'r wladwriaeth. Efe gan hynny a ddaeth i'w canol, ac a ymdrechodd i hyspysu i'r lliaws, fod y ddinas Tiberias bob amser yn ddinas o Galilea; a darfod yn nyddiau Herod y tetrarc, yr hwn a'i † hadeiladodd, iddi gael yr enw o brif-ddinas; a gorchymmyn o hono i'r ddinas Sepphoris fod yn ddarostyngedig i Tiberias: na chollasent y blaenoriaeth hwn hyd yn oed tan Agrippa y tad; ond a'i cadwasant mewn meddiant nes i Felix ddyfod yn rhaglaw Judea. Ond fe ddywedodd wrthynt, eu bod yn awr mor anhappus, a chael eu gwneud gan Nero yn anhreg i Agrippa yr ieuangaf. Ac wedi ymostyngiad Sepphoris i'r Rhufeiniaid, honno a ddaethai yn brifddinas Galilea; a bod y drysorfa frenhinol, a'r côf-lyfrdŷ yn awr wedi ei symmud oddi wrthynt hwy. Wedi iddo lefaru y pethau hyn, a llawer yn rhagor yn erbyn y brenin Agrippa, i'r diben i gynhyrfu'r bobl i wrthwynebiad; fe chwanegodd mai hwnw oedd yr amser iddynt fyned tan arfau, ac uno â'r Galileaid fel eu cyngreirwyr: (y rhai a allent eu gorchymmyn, a'r rhai yn awr yn ewyllysgar a'u cynnorthwyent, oddi ar y casineb oedd ganddynt i bobl Sepphoris, o herwydd eu bod yn cynnal ffyddlondeb â'r Rhufeiniaid:) a chasglu ynghyd nifer mawr o filwyr mewn trefn i'w cospi hwynt. Ac fel yr oedd yn dywedyd hyn, fe gynghorodd y lliaws i fyned i ryfel. Canys ei gymwysiadau ef oedd gynnwysedig mewn areithiad wrth y bobl, ac mewn rhagoriaeth ymadrodd ar y rhai a'i gwrthwynebent ef; er dadleu o honynt hwy yr hyn ag oedd fwyaf manteisiol iddynt: a hynny a wnaeth o'i ffraethineb a'i gyfrwysdra dichellgar. Canys nid oedd efe yn anghyfarwydd yn nysgeidiaeth y Groegiaid. Ac mewn ymddibyniad ar y cyfarwyddyd hwnnw y bu iddo gymmeryd yn llaw ysgrifennu hanes y matterion hyn; megis ag amcan ganddo â'r dull hwnnw o ymadroddi i orchuddio'r gwirionedd. Ond mewn perthynas i'r dyn hwn, ac o ba fath ddrwg-ymddygiad ydoedd; a'r modd y bu efe a'i frawd, mewn mesur mawr, yn awdwyr ein dinystr, rhoddaf gyfrif o hono i'r darllenyddd fel yr elwyf ym mlaen yn fy hanesiad. Felly wedi i Justus, trwy ei annogaethau, berswadio dinasyddion Tiberias i fyned tan arfau; ïe, a gyrru llawer i wneuthur hynny yn erbyn eu hewyllysiau; fe aeth allan, ac a osododd bentrefi a berthynent i Gadara a Hippos ar dân: pa ryw bentrefi a safent ar derfynau Tiberias, ac yn ardal Scythopolis.

Dyma'r cyflwr yr oedd Tiberias yn awr ynddo

* Fod Herod Agrippa, y tad, yn cael ei alw gynt yn frenin mawr, megis yma; a ymddengys wrth ei arian sydd yn aros etto; at yr hyn y mae Havercamp yn ein cyfeirio.

† Gwel Hynaf. XVIII. 2.

Ond am Gischala, ei hachosion ydoedd y modd hwn. Pan welodd Ioan mab Lefi, rai o'r dinasyddion yn ymdderchafu yn eu meddyliau ar eu gwrthodiad o ufudd-dod i'r Rhufeiniaid, fe ymdrechodd i'w hattal hwynt; ac a ddeisyfodd ar iddynt barhau yn eu ffyddlondeb tu ag attynt. Ond ni allai gael ei amcan, er iddo ymdrechu hyd yr eithaf. Canys pobl gymmydogaethol Gadara, Gabara, a Sogana, gyd â'r Tyriaid, a gynnullasant fyddin fawr, ac a gymmerasant Gischala trwy drais, gan ei gosod ar dân: ac wedi iddynt ei llwyr ddifrodi, hwy a ddychwelasant adref. Ar yr hyn y cyffröwyd Ioan mor fawr, fel yr arfogodd ei holl wŷr, ac yr ymgyssylltodd mewn brwydr â'r bobl ragddywededig, ac a ail-adeiladodd Gischala, mewn modd gwell a rhagorach nag o'r blaen: gan ei hymddiffyn â chaerau er ei diogelwch mewn amser i ddyfod.

Ond Gamala a barhaodd yn ei hufudd-dod i'r Rhufeiniaid, oblegid y rhesymmau canlynol. Philip, mab Jacimus, yr hwn oedd eu llywodraethwr tan frenin Agrippa, a achubasid yn annisgwyliadwy, pan warchaewyd ar y palas brenhinol yn Jerusalem: ond fel yr oedd yn ffoi ymaith, fe syrthiasai mewn perygl o gael ei ladd gan Manahem, a'r yspeilwyr oedd gyd âg ef. Ond rhai Babiloniaid o'i garenydd, ag oedd y pryd hynny yn Jerusalem, a rwystrasant yr yspeilwyr rhag cyflawni eu hamcan. Felly Philip a arhosodd yno bedwar o ddiwrnodiau, ac a ffôdd ymaith ar y pummed dydd; wedi ei ddieithrio ei hunan â ffug-wallt, fel na ddatguddid ef. Ac wedi ei ddyfod i un o'i bentrefi, ag oedd â'i sefyllfa ar derfynau tŵr Gamala, danfonodd at rai o'r gwŷr oedd tano, i orchymmyn iddynt ddyfod atto ef. Ond Duw ei hun a rwystrodd ei amcan, a hynny er ei hunanfantais. Canys pe na's digwyddasai felly, buasai yn sicr o'i ddifetha. Canys wedi ei oddiweddu gan glefyd yn ddisymmwth, fe ddanfonodd lythyrau at Agrippa a Bernice, ac a'u rhoddodd at un o'i rydd-weision i'w dwyn at Verus; yr hwn ar yr amser yma oedd yn rhaglaw y deyrnas, yr hon a ddarfu i'r brenin a'i chwaer ei hymddiried iddo, tra'r aethant hwy i Berytus, gyd âg amcan i gyfarfod â Gessius. Wedi i Varus dderbyn y llythyrau hyn oddiwrth Philip, a deall ei fod wedi ei ddiogelu, yr ydoedd yn dra anesmwyth o'r achos, gan feddwl yr ymddangosai efe yn ddiddefnydd i'r brenin a'i chwaer, yn awr wedi dyfodiad Philip. Efe gan hynny, a ddygodd gludwr y llythyrau o flaen y lliaws; ac a'i cyhuddodd o ddarfod iddo ffugio yr unrhyw, ac a ddywedodd ei fod yn llefaru anwir pan adroddodd fod Philip yn Jerusalem, yn ymladd ym mysg yr Iuddewon yn erbyn y Rhufeiniaid. Felly efe a'i lladdodd ef. A phryd na ddychwelodd y rhyddwas hwn o'r eiddo Philip, yr oedd efe tan amheuaeth ynghylch yr achos o'i arhosfa; danfonodd, gan hynny, ail-negeseuwr gydâ llythyrau; fel y mynegai ar ei ddychweliad, beth a ddigwyddasai o'r llall a ddanfonasid o'r blaen, a phaham yr arhosai cyhyd o amser. Varus a gyhuddodd y negeseuwr hwn hefyd, wedi ei ddyfod, o draethu anwir, ac a'i lladdodd ef. Canys efe a chwyddwyd i fynu gan y Syriaid oedd yn Cæsarea, a chanddo ddisgwyliadau mawrion. Canys hwy a ddywedasant y lleddid Agrippa gan y Rhufeiniaid, am y camweddau a wnaethai yr Iuddewon, ac y byddai iddo ei hun gymmeryd y llywodraeth, megis yn tarddu oddi wrth eu brenhinoedd. Canys yr ydoedd Varus, yn ol cyfaddefiad pawb, o'r teulu brenhinol, megis a'i ddisgyniad oddiwrth Sohemus, yr hwn a feddianodd detrarciaeth ynghylch Libanus. Am ba reswm yr oedd efe wedi ymchwyddo, ac a gadwodd y llythyrau rhagddywededig iddo ei hun. Fe arfaethodd hefyd na chai'r brenin gyfarfod â'r 'sgrifenadau hyn, trwy wylio ar yr holl ffyrdd tramwyol, rhag i ryw un ddiangc, a dwyn hyspysrwydd am yr hyn a wnaethpwyd. Efe, ymhellach, a laddodd lawer o'r Iuddewon, i'r diben i foddhau amryw o'r Syriaid yn Cæsarea. Yr oedd ganddo fwriad hefyd i uno â'r Traconitiaid yn Batanea; a chymmeryd arfau i wneud ymosodiad ar yr Iuddewon Babilonaidd oedd yn Ecbatane. Canys hwnnw oedd yr enw a aethant tano. Efe gan hynny a alwodd atto ddeuddeg o Iuddewon Cæsarea, y rhai oedd â'r gair goreu iddynt; a'r rhai a archodd i fyned at eu cydwladwyr yn Ecbatane, gyd â'r neges hwn; "Varus a glybu eich bod yn amcanu gwneuthur cychwynfa yn erbyn y brenin: ond heb gredu y chwedl hwnnw, fe'n danfonodd ni i'ch perswadio i roddi eich arfau i lawr: a'r cydsyniad

hwn a fydd yn arwydd iddo wneuthur yn dda trwy beidio rhoddi crediniaeth i'r sawl a luniodd y gau-chwedl hwnnw y'mherthynas i chwi." Efe hefyd a orchymynodd iddynt anfon deg a thrugain o'u gwŷr pennaf, i wneud amddiffyniad mewn perthynas i'r cyhuddiad a osodasid yn eu herbyn. Felly pan ddaeth y deuddeg negeseuwyr, at eu cydwladwyr yn Ecbatane; a'u cael hwynt heb amcanu unrhyw wrthwynebiad; darfu iddynt eu perswadio i ddanfon y deng ŵr a thriugain. Y rhai heb ddim amheuaeth ganddynt am y peth a ddeuai o amgylch, a'u danfonasant yn ganlynol. Felly y * deg a thrugain hyn, a'r deuddeg cenhadwyr, a aethant i wared i Cæsarea: lle y cyfarfu Varus â hwynt gyd â lluoedd y brenin, ac a'u lladdodd hwynt oll; ac a wnaeth ymgyrch yn erbyn yr Iuddewon yn Ecbatane. Ond yr ydoedd un o'r deg a thrugain yr hwn a ddiangodd; ac a wnaeth frys i hysbysu i'r Iuddewon am eu dyfodiad. Ar yr hyn y cymmerasant eu harfau, gyd â'u gwragedd a'u plant, ac a giliasant i'r tŵr yn Gamala: gan adael eu pentrefi yn llawn o bob peth daionus; gyd âg amryw filoedd o'u hanifeiliaid ynddynt. Wedi hyspysu Philip o'r pethau hyn, efe hefyd a ddaeth i dŵr Gamala. Ac wedi ei ddyfod, y lliaws a lefasant yn uchel, ac a ddeisyfiasant arno ef ail-gymmeryd y llywodraeth, a gwneud ymgyrch yn erbyn Varus, a'r Syriaid yn Cæsarea: canys fe fynegasid eu bod hwy wedi lladd y brenin. Ond Philip a attaliodd eu tanbeidrwydd, ac a ddygodd ar gof y lleshad a wnaethid iddynt gan y brenin: a llefarodd wrthynt am alluowgrwydd y Rhufeiniaid; ac nad oedd er eu mantais i wneuthur rhyfel â hwynt. Ac felly, o'r diwedd, fe'u gorchfygodd. Ond wedi i'r brenin wybod am amcan Varus, yr hyn ydoedd i dorri ymaith Iuddewon Cæsarea, a hwy yn amryw filoedd, gyd â'u gwragedd a'u plant, a'r cwbl mewn un diwrnod; fe alwodd atto Equiculus Medius, ac a'i danfonodd yn llywodraethwr yn lle Varus. Ond etto Philip a gadwodd feddiant o dŵr Gamala, ac o'r wlad gyssylltedig ag yno: pa rai a barhasant wrth hynny yn eu hufudd-dod i'r Rhufeiniaid.

Yn awr mor gynted ag y daethum i Galilea, a deall o honof amgylchiad y pethau hyn, trwy hyspysiad gan y rhai a ddywedasant i mi am danynt, mi a 'sgrifenais at y Sanhedrim yn Jerusalem, gan ofyn eu cyfarwyddyd ynghylch yr hyn oedd i mi ei wneuthur. Eu cyfarwyddyd ydoedd, fod im' arhosfa barhau yno: ac, os byddai fy nghyd-genhadwyr yn foddlon, uno o honof â hwynt i ofalu tros Galilea. Ond a chan y rhai hynny lawer o gyfoeth yn digwydd iddynt oddiwrth y degymmau, fel offeiriaid, ac a roddid yn flynyddol i gynnal gwasanaeth y deml; hwy a benderfynasant i ddychwelyd i'w gwlad eu hunain. Etto pan ddymunais arnynt aros cyhyd ag y gallent, yn gyntaf sefydlu'r achosion cyhoeddus, hwy a gydsyniasant â'm deisyfiad. Felly mi symmudais, ynghyd â hwynt, o'r ddinas Sepphoris; ac a ddaethom i ryw faesdref a'i henw Bethamus, yr hon oedd bedair o 'stadau o Tiberias: ac oddi yno yr arfonais negeseuwyr at senedd Tiberias; gan ddymuno i'r pennaethiaid ddyfod attaf. Ac wedi eu dyfod, a Justus ei hun gyd â hwynt, dywedais wrthynt fy anfon gan bobl Jerusalem, fel cenhadwr, ynghyd â'r offeiriaid eraill, mewn trefn i'w perswadio i dynnu i lawr y tŷ a adeiladasai Herod y tetrarch yno, yr hwn oedd â lluniau creaduriaid byw arno; er gwahardd gan ein cyfreithiau na osodid i fynu y cyfryw luniau. Ac mi ddymunais roddi o honynt gennad i ni i gyflawni'r weithred yn ddioed. Ond am gryn amser, ni chydsyniai Capellus, a'r gwŷr pennaf a berthynai i'r ddinas, â rhoddi y caniattâd hwnnw i ni; ond hwy o'r diwedd a lwyr orchfygwyd gennym, ac a ennillwyd i fod o'r un farn â ni. Felly Jesus, mab Sapphias, un o'r rhai a † grybwllasom eisoes am danynt, fel blaenor ymblaid derfysglyd o forwyr a phobl dlodion a'n rhagflaenodd; yr hwn a gymmerodd gyd âg ef rai Galileaid, ac a osododd yr holl le ar dân, gan feddwl y meddianai lawer o arian wrth hynny, o herwydd gweled o hono y gronglwyd wedi ei goreuro âg aur. Hwy hefyd a yspeiliasant lawer o'r dodrefn; yr hyn a wnaethpwyd heb ein cennad ni. Canys wedi ymddiddan o honom â Capellus, a phennaethiaid y ddinas, nyni a aethom ymaith o Bethamus, gan fyned rhagom i Galilea uchaf. Ond Jesus a'r blaid oedd gyd âg ef, a laddasant yr holl Roegiaid oedd yn preswylio yn Tiberias: a chynnifer eraill a gyfrifent yn elynion

* Rhifedi nodedig yr Iuddewon o 12 a 70 ydynt hynod yn y lle hwn.

† Gwel Hanes y Rhyf. II. 20.

cyn dechreuad y rhyfel.

Pan ddeallais am yr amgylchiad yma o bethau, fe'm cythruddwyd yn fawr; ac a aethum i wared i Tiberias; gan gymmeryd yr holl ofal a fedrwn ynghylch y dodrefn brenhinol; ac i adferyd cymmaint ag a ellid o honynt oddi ar yr yspeilwyr. Yr oeddynt yn gynnwysedig mewn canwyllbrenau gwneuthuredig o brês Corinth, a byrddau brenhinol; gydâ mesur mawr o arian anfathedig. Ac mi ymröais i gadw i'r brenhin pa bethau bynnag a ddeuai tan fy llaw. Felly mi a ddanfonais am ddeg o wŷr pennaf y senedd, ac am Capellus, mab Antyllus; gan orchymmyn y dodrefn i'w gofal hwynt; gyd â'r archiad hwn, nad ymadawent â hwy i neb ond im' fy hun. Oddi yno yr aethum, a'm cydgenhadwyr gydâ mi, i Gischala, at Ioan, gan ewyllysio gwybod ei fwriadau ef: a chanfyddais yn fuan ei fod ef am newidiad llywodraeth, ac yn meddwl ei hun am y bendefigaeth. Canys fe ddymunodd gennyf fi roddi awdurdod iddo i gymmeryd ymaith yr ŷd a berthynai i Cæsar, ac a oedd yn gorwedd yn mhentrefi Galilea uchaf: a chymmerodd arno y gwariai yr hyn ydoedd o werth yn adeiladu muriau o amgylch ei ddinas ei hun. Ond pan ddeallais yr hyn oedd yn ei feddwl, dywedais, na chaniattawn iddo wneuthur felly. Am fy mod yn meddwl ei gadw i'r Rhufeiniaid, neu im' fy hun, wedi ymddiried yn awr i mi am yr achos cyffredin yno gan bobl Jerusalem. Ond pan na allodd fy ennill i, fe droes ei hun at fy nghydswyddwyr. Canys nid oedd ganddynt hwy ddoethineb i barottoi erbyn yr amser a ddeuai; ac a oeddynt dra thueddol i gymmeryd gwobrwyon. Felly fe'u gŵyrdrodd hwynt âg arian i roddi allan orchymmyn, fod i'r holl ŷd oedd o fewn ei dalaeth i gael ei roddi i fynu iddo ef. Tra fum i, yr hwn nid oeddwn ond un wedi fy ngorchfygu trwy addewid dau, yn attal fy nhafod. Yna y bu i Ioan ddwyn i mewn ddyfais ddichellgar arall. Canys dywedodd, ddarfod i'r Iuddewon ag oedd yn preswylio Cæsarea Philippi, ac wedi caead arnynt gan genhadwr y brenin yno, ddanfon atto ef, i ddymuno, fel nad oedd ganddynt ddim olew ag oedd bur i wneud defnydd o hono; y parottöai efe fesur digonol o'r cyfryw olew iddynt; rhag gorfod o honynt ddefnyddio olew a ddeuai oddi wrth y Groegiaid; ac wrth hynny troseddu eu cyfreithiau. Yn awr, hyn a ddywedwyd gan Ioan, nid o ran ei ofal tros grefydd, ond o herwydd ei awydd angerddol i elw. Canys fe wyddai fod dau *sextari* wedi eu gwerthu gydâ hwy yn Cæsarea am un *drachmæ:* ond mai yn Gischala pedwar ugain *sextari* a werthid am bedwar *drachmæ.* Felly fe orchymmynodd fod yr holl olew oedd yno gael ei gymmeryd ymaith, megis wedi ei ganiattau gennyf fi. Yr hyn etto nid oeddwn wedi ei genhadu iddo yn ewyllysgar, ond yn unig rhag ofn y lliaws; yn gymmaint a phe buaswn yn ei ommedd y llabuddiasid fi. Wedi i mi, trwy hynny, ganiattau hyn i Ioan, fe ynnillodd swm anfesurol o arian trwy ei anonestrwydd.

Ond wedi i mi ollwng ymaith fy nghyd-genhadon, a'u danfon yn ol i Jerusalem, cymmerais ofal i barottoi arfau, ac amddiffyn y dinasoedd. A phan ddanfonais am y rhai mwyaf hŷf o'r yspeilwyr, gwelais nad oedd yn fy ngallu gymmeryd eu harfau oddi wrthynt hwy: ond mi berswadiais y lliaws i ganiattau arian iddynt fel taliadau: ac a ddywedais fod yn well rhoddi ychydig iddynt yn ewyllysgar, yn hytrach nag i edrych heibio iddynt pan yspeilient hwy o'u meddiannau. A phan rwymais hwynt i gymmeryd eu llŵ na ddeuent i'r wlad honno, oddieithr ar wahoddiad, neu pan na dderbynient eu taliadau, mi a'u gollyngais ymaith: gan roddi gorchymmyn iddynt, na wnaent ymgyrch yn erbyn y Rhufeiniaid, nac yn erbyn y cymmydogion hynny ag oedd yn preswylio o'u hamgylch. Canys fy ngofal cyntaf oedd i gadw Galilea mewn heddwch. Felly yr oeddwn yn ewyllysio cael y rhai pennaf o'r Galileaid, i gyd oll yn * ddeg a thriugain, yn wystlon o'u ffyddlondeb; ond etto tan ymddangosiad o gyd-gymdeithion. Yn ganlynol, gwnaethum hwynt yn gyfeillion ac yn gyfarwyddwyr yn fy nheithiau; ac a'u gosodais i farnu achosion: a chyd â'u cymmeradwyad hwy y rhoddwn fy nedfryd fy hun; pryd yr ymdrechais na chamsyniwn yr hyn ag oedd cyfiawnder yn ei ofyn; gan gadw fy nwylaw oddiwrth wobrwyon yn y penderfyniadau hynny.

Yr oeddwn yn awr ynghylch y † ddeng mlwydd ar hugain o'm hoedran: ym mha am-

* Gwel am y Rhyfeloedd II. 20. † B. A. 66.

ser o fywyd dyn y mae'n anhawdd diangc oddiar enllibiau y rhai cenfigenus; er iddo attal ei hun oddiwrth gyflawniad o chwantau anghyfreithlon: yn enwedig lle y byddo person â chanddo fawr awdurdod. Etto mi amddiffynais bob gwraig rhag cam a niweid: ac am yr anrhegion a gynhygid i mi, yr oeddwn yn eu dirmygu, megis heb sefyll mewn angen o honynt. Ac yn wir ni chymmerwn y degymmau ag oedd, fel offeiriad, yn digwydd i mi, gan y rhai a'u dygasant. Etto yr wyf yn cyfaddef gymmeryd o honof ran o yspail y Syriaid hynny ag oedd yn preswylio y dinasoedd cyssylltedig â ni, pan gymmerais hwynt; ac mi a'u danfonais i'm carennydd yn Jerusalem. Er wedi i mi gymmeryd Sepphoris ddwywaith trwy drais; Tiberias bedair gwaith; a Gadara unwaith: ac wedi im' ddarostwng a chymmeryd Ioan, yr hwn yn fynych a osodasai faglau bradwriaethus i mi; ni chospais ef â marwolaeth, na neb o'r bobl a rag-grybwyllwyd, fel y dengys y rhanau canlynol o'r traethawd hwn. Ac ar y cyfrif yma mi dybiais mai * Duw, yr hwn nid yw un amser heb gymmeryd sulw o'r rhai a wnant megis ag y dylent, oedd yn fy ngwaredu yn wastad o ddwylaw fy ngelynion; ac, a'm hachubodd pan syrthiais i'r peryglon a gaf eu hadrodd yn ol hyn.

Yn awr lliaws y Galilead ydoedd â'r caredigrwydd hwnw tu ag attaf, a ffyddlondeb i mi; fel pan gymmerwyd eu dinasoedd trwy drais, ac y dygwyd eu plant a'u gwragedd i gaethiwed, ni ofidiasant mor ddwys oblegid eu trallodion eu hunain, ag ynghylch fy niogelwch i. Ond pan welodd Ioan hyn, fe genfigenodd wrthyf; ac a ysgrifenodd attaf, i ddymuno cennad gennyf i ddyfod i wared, i wneud arferiad o ymdrochi yn yr ymolchfa frŵd oedd yn Tiberias, er adferiad i'w iechyd. Yn ganlynol ni rwystrais ef, megis heb feddwl am un drwg amcan ganddo. Ac mi ysgrifenais attynt, i ba rai yr ymddiriedaswn weinidogaethiad yr achosion cyhoeddus yn Tiberias, wrth eu henwau, am iddynt barottoi lletty i Ioan, ac i'r cyfryw a ddeuai gyd ag ef; ac arlwyo y fath angenrheidiau ag a allai fod mewn diffyg o honynt. Yn awr ar yr amser hwn, fy nhrigfa i ydoedd mewn pentref yn Galilea, a elwid † Cana.

Ond pan ddaeth Ioan i ddinas Tiberias, fe berswadiodd y dynion i gilio oddiwrth eu ffyddlondeb i mi ac i lynu wrtho ef. A llawer o honynt a wnaethant dderbyniad croesawgar o'i annogaethau ef; y rhai oedd bob amser yn hoffi terfysgoedd, ac o naturiaeth yn dueddol i gyfnewidiau ac ymryson. Ond Justus, a'i dad Pistus ydoedd rai ag oedd fwyaf taer am eu gwrthdroad oddiwrthyf fi, a'u hymlyniad wrth Ioan. Ond mi a ddaethum ar eu gwarthaf, ac a'u rhagflaenais hwynt. Canys negeseuwr a ddaethai attaf oddiwrth Silas, yr hwn a osodaswn yn llywodraethwr ar Tiberias; pa un a fynegodd i mi am dueddiadau pobl Tiberias, ac a'm cynghorodd i brysuro i ddyfod yno: oblegid os oedi a wnawn, y byddai i'r ddinas fyned tan awdurdod un arall. Ar dderbyniad y llythyr hwn, cymmerais ddau cant o wŷr gydâ mi ac a deithiasom ar hyd nos: wedi danfon negeseuwr o'n blaen i adael i bobl Tiberias wybod am ein dyfodiad attynt. Pan ddaethum yn agos at y ddinas, yr hyn oedd yn foreuol, y lliaws a ddaethant allan i'm cyfarfod: a Ioan ‡a ddaeth gydâ hwynt, ac a'm cyfarchodd; eithr mewn modd tra therfysglyd: megis yn ofni fod fy nyfodiad i'w alw ef i gyfrif am yr hyn a wyddwn yn awr ei fod yn ei wneuthur. Felly efe, gyd â brys mawr, a aeth ymaith i'w letty. Ond pan oeddwn mewn gwagle yn y ddinas, gollyngais ymaith y gwarchawdlu oedd gennyf o'm cwmpas, oddigerth un, a deg o wŷr arfog ag oedd gyd âg ef, cynhygiais wneuthur araith wrth y lliaws o bobl Tiberias: ac, a mi yn sefyll ar le o uwchder, mi erfyniais arnynt na byddent mewn gormod brys yn eu gwrthdröad: oblegid y byddai y fath gyfnewid o'u hymddygiad er gwaradwydd iddynt: ac y drwg-dybid hwynt yn gyfiawn ar ol hynny gan eu llywodraethwr canlynol; megis pe na byddent debyg i fod yn ffyddlon ychwaith iddynt hwythau.

Ond cyn i mi lefaru y cwbl a fwriadaswn, clybum un o ddynion fy nheulu yn peri i mi ddyfod i lawr; am nad oedd yn amser addas i mi ofalu am ewyllys da pobl Tiberias, ond i

* Y mae Josephus yn dangos yma ac ym mhob lle, ei fod yn ddyn tra chrefyddol; ac yn un â dwfn ystyriaeth o Ddnw, a'i ragluniaeth ar ei feddwl: ac yn cyfrif ei holl aml a rhyfedd ddiangfeydd a'i waredigaethau mewn amser o berygl i fendith Duw, a'i ofal trosto ef; a hyn ar gyfrif ei weithredoedd o dduwioldeb, dynoliaeth, ac elusengarwch, i'r Iuddewon, ei frodyr.

† Gwel Ioan ii. 1, 11. ‡ Hyn a adroddir mewn modd amgen, Am y Rhyf. II. 21.

barottoi i'm diogelu fy hun, a diangc rhag fy ngelynion yno. Canys Ioan a ddewisasai y rhai ffyddlonaf o'r gwŷr arfog oedd o'i amgylch allan o'r miloedd oedd gyd ag ef, ac a roesai orchymmyn wrth eu hanfon, am fy lladd i; wedi deall fy mod yn unig, ac heb ond un o wŷr fy nheulu gydâ mi. Felly y rhai a ddanfonasid a ddaethant fel y gorchymynwyd iddynt: a hwy a gyflawnasent yr hyn y daethant yn ei gylch, pe na neidiaswn i lawr oddiar yr esgynfa lle'r oeddwn yn sefyll; a chyd ag un o'm gwarchawdlu, enw'r hwn ydoedd Iago gael fy nwyn ymaith allan o'r dorf, ar gefn un Herod o Tiberias, a'm cyfarwyddo ganddo ef i wared at y llyn: ym mha le y cefais long, yr hon yr aethum iddi, ac a ddiangais o gyrraedd fy ngelynion yn annisgwyliadwy, ac a ddaethum i Tarichæ.

Yn awr, cyn gynted ag y gwybu preswylwyr y ddinas honno am fradwriaeth pobl Tiberias, hwy a gythruddwyd yn fawr o'i blegid. Felly hwy a gippiasant i fynu eu harfau, gan ddymuno arnaf fod yn arweinydd iddynt yn eu herbyn. Canys dywedasant y dialent achos eu penllywydd arnynt hwy. Hwy hefyd a ddygasant hyspysrwydd am yr hyn a wnaethid i mi at yr holl Galileaid; gan ymdrechu yn fawr i'w cyffroi yn erbyn pobl Tiberias; a dymuno i nifer liosog o honynt ymgasglu ynghyd, a dyfod attynt hwy; fel y gallent gyduno â'u pennaeth, i benderfynu pa beth a fyddai gymmwys i'w wneuthur. Yn ganlynol, y Galileaid a ddaethant attaf fi yn rhifedi mawr o bob parth, a'u harfau gydâ hwynt: gan ddymuned arnaf ymosod ar Tiberias, i'w chymmeryd trwy drais, a'i dadymchwel hi, nes ei gosod yn gyd-wastad â'r llawr: ac yna i gaeth-gludo ei phreswylwyr, gyd â'u gwragedd a'u plant. Y rhai oeddynt gyfeillion hefyd, ac a ddiangasant allan o Tiberias, a roddasant yr un cyngor. Ond ni chydsyniais â hwynt: gan ei gyfrif yn beth ofnadwy i ddechreu rhyfel cartrefol yn eu mysg. Canys meddyliais na ddylai yr ymryson hwn fyned ymhellach na geiriau. Nagê, mi ddywedais wrthynt nad ydoedd er eu mantais eu hunain i wneud yr hyn a fynnent hwy i mi ei wneuthur: pan nad oedd y Rhufeiniaid yn disgwyl dim amgen nag i ni ddifetha ein gilydd trwy ein cyd-ymrysoniadau. Ac wrth ddywedyd hyn, mi ddyhuddais ddigofaint y Galileaid.

Ond yn awr Ioan a ofnodd am dano ei hun, gan fod ei fradwriaeth wedi profi yn aflwyddianus. Felly fe gymmerodd y gwŷr arfog oedd o'i amgylch, ac a symmudodd o Tiberias i Gischala; ac a 'sgrifennodd attaf i wneud esgusodiad ymherthynas i'r hyn a ddigwyddasai; megis pe gwnaethid heb ei gymmeradwyad ef: gan ddymuno arnaf i beidio cynnwys dim drwgdybiau am dano er ei anfantais. Fe ychwanegodd hefyd lŵon a melldithion arno ei hun; gan feddwl wrth hynny y credid ef ymherthynas i'r pethau a ysgrifenodd attaf o'u plegid.

Ond yn awr rhifedi lliosog arall o'r Galileaid a ddaethant ynghyd drachefn gyd â'u harfau: megis yn gwybod am y dyn, pa mor annuwiol, a pha fath anudonwr ydoedd: y rhai a ddeisyfiasant arnaf fod yn arweinydd iddynt yn ei erbyn: gan addaw ei lwyr ddinystrio ef, a Gischala hefyd. Ar hyn, mi addefais fy mod yn rhwymedig iddynt am eu parodrwydd i'm gwasanaethu: ac y gwnawn ychwaneg na thalu iddynt eu hewyllys da. Pa fodd bynnag, erfyniais arnynt am ymattal eu hunain, a rhoddi cennad i mi i wneuthur yr hyn a fwriadaswn: sef rhoddi terfyn ar y blinderau hyn heb dywalltiad gwaed. Ac wedi i mi berswadio lliaws y Galileaid i adael i mi wneuthur hynny, mi aethum ymaith i Sepphoris.

Ond a thrigolion y ddinas hon yn penderfynu parhau yn eu hufudd-dod i'r Rhufeiniaid, yr oeddynt yn ofnus o'm dyfodiad attynt, ac a geisiasant, trwy fy ngosod ar weithred arall, fy nhroi heibio, fel y rhyddheid hwy oddiwrth y dychryn yr oeddynt ynddo. Yn ganlynol, hwy a ddanfonasant at Jesus, cadben yr yspeilwyr hynny ag oedd ynghyffiniau Ptolemais, gan addaw mesur mawr o arian os deuai gyd â'r lluoedd yr oedd yn ben arnynt, pa rai o rifedi oeddynt wyth cant, ac ymladd â nyni. Yn ganlynol, fe gydsyniodd â'r hyn a ddymunent, ar yr addewid a wnaethent iddo, ac a fwriadodd syrthio arnom ni pan oeddym yn anmharod iddo, ac heb wybod dim am ei ddyfodiad.

Felly fe ddanfonodd attaf fi, ac a ddymunodd gael cennad gennyf i ddyfod i'm cyfarch. Wedi i'm ganiattau hynny iddo; (yr hyn a wnaethum heb y gwybodaeth lleiaf am ei amcanion bradwriaethus,) fe gymmerodd ei lu o

yspeilwyr, ac a wnaeth frys i ddyfod attaf. Etto ni lwyddodd ei ddichellion anonest yn y diwedd. Canys fel yr oedd eisoes yn agoshau attom, un o'r rhai oedd gyd ag ef a enciliodd, ac a ddaeth trosodd attaf fi, ac a ddywedodd i mi yr hyn a gymmerasai arno ei wneuthur. Wedi fy ngwneud yn hyspys o hyn, mi aethum i'r farchnadfa, heb gymmeryd arnaf wybod dim am y fradwriaeth a osodid i'm herbyn. Cymmerais gyd â mi, pa fodd bynnag, amryw o'r Galileaid oedd yn arfogion; megis rhai hefyd a ddaethent attaf o Tiberias. Ac wedi i mi orchymmyn fod i wyliadwriaeth gofalus gael ei gosod ar yr holl ffyrdd, gorchymynais hefyd i geidwaid y pyrth na ollyngent neb ond Jesus i mewn, pan ddeuai yno, gyd â'r rhai pennaf o'i wŷr; a bod iddynt rwystro'r lleill; ac os cynhygent eu hunain i mewn trwy orfod, fod iddynt arfer gwialenodiau, mewn trefn i'w gyrru yn ol. Yn ganlynol, y rhai a gawsent y fath orchymmyn a wnaethant fel y parwyd iddynt; a Jesus a ddaeth i mewn, gyd âg ychydig eraill. A phan orchymmynais iddo roddi ei arfau i lawr yn ddioed, ac y dywedais os gommeddai wneuthur hynny, ei fod yn ddyn marwol: ac efe yn gweled dynion arfog i gyd o'i amgylch, dychryn a'i goddiweddodd, a chydsyniodd â'm gorchymmyn. Ac am y rhai o'i ganlynwyr a gadwyd allan, pan hysbyswyd iddynt am ei oresgyniad, hwy a ddiangasant ymaith. Yna y gelwais Jesus attaf wrtho ei hun; ac a ddywedais iddo nad oeddwn yn ddieithr i'r amcan bradwriaethus oedd ganddo yn fy erbyn: nac heb wybod pwy a ddanfonasai am dano ef. Fy mod, pa fodd bynnag, yn maddeu yr hyn a wnaethai eisoes, os edifarhâi o'i herwydd, ac y byddai ffyddlon i mi rhag llaw. Ac fel hyn, ar ei addewid o wneuthur yr hyn oll a geisiais, mi adewais iddo fyned ymaith; a rhoddais gennad iddo gymmeryd ynghyd y rhai a fuasai o'r blaen gyd âg ef. Ond mi a fygythiais drigolion Sepphoris, os na adawent heibio eu triniaeth anmharchus o honof, y cospwn hwynt yn llym.

Ar yr amser hwn y bu i ddau o wŷr mawrion ag oedd tan lywodraeth Agrippa ddyfod attaf, allan o dalaeth Trachonitis, gyd â'u meirch, a'u harfau; a dwyn gyd â hwynt eu harian hefyd. A phan fynnai'r Iuddewon * wneud iddynt enwaedu arnynt eu hunain, os arhosent yn eu mysg hwynt, ni chaniattawn i ddim rhwymau gael ei osod arnynt, ond a ddywedais, "Y dylai pawb gael addoli Duw yn ol eu meddyliau eu hunain, ac nid eu rhwymo i hynny trwy orfod: A'r gwŷr hyn wedi diangc attom ni am amddiffyn, ni ddylid arfer y fath driniaeth tu ag attynt, ag i beri iddynt edifarhau eu dyfodiad." Ac wedi im' lonyddu y llïaws, mi barottoais i'r dynion a ddaethai attom pa beth bynnag oedd arnynt ei eisiau, yn ol eu ffordd arferol o fywiolaethu, a hynny hefyd mewn helaethrwydd.

Yn awr y brenin Agrippa a ddanfonodd fyddin i gymmeryd meddiant o dŵr Gamala, ac Equicolius Modius yn ben arnynt. Ond nid oedd y fyddin a ddanfonwyd yn ddigon i gwmpasu y tŵr oll o amgylch: ond hwy a wersyllasant yn y gwag-leoedd o'i flaen, ac a warchaeasant arno. Ond wedi i Ebutius, y dengwriad, yr hwn a ymddiriedasid â llywodraeth y gwastadedd mawr, glywed fy mod i yn Simonias, maesdref ydoedd â'i sefyllfa ar gyffiniau Galilea, yn driugain ystad o bellder oddiwrtho; fe gymmerodd gant o wŷr meirch oedd gyd ag ef yn y nos, ac ynghylch dau cant o wŷr traed; gan ddwyn trigolion Gibea gyd ag ef, fel cynnorthwy, a gwneuthur cychwynfa yn y nos, pryd y daeth at y dref yr oeddwn ynddi. Ar hyn mi a wersyllais gyferbyn ag ef, mewn lle ag oedd â nifer fawr o filwyr o'i fewn. Ond Eubitius a ymdrechodd i'n tynnu i lawr i'r gwastadedd, â chanddo hyder mawr ar ei wŷr meirch. Ond ni ddeuem ni i wared: canys wedi im' wybod y fantais a gai ei wŷr meirch os elem i lawr i'r gwastadedd, pan oeddym ni i gyd yn wŷr traed. Ymröais, gan hynny, i gyssylltu brwydr â'r gelyn lle yr oeddym. Yn awr Ebutius a'i blaid a wnaethant wrthwynebiad cefnog tros amser. Ond pan welodd nad oedd ei wŷr meirch o ddim defnydd iddo yn y lle hwnnw, fe giliodd yn ol i'r ddinas Gibea, wedi colli tri o'i wŷr yn yr ymladdfa. Felly mi a'i canlynais ef yn ddioed â dwy fil o wŷr arfog. A phan oeddwn wrth y ddinas Besara, oedd yn gorwedd y'nghyffiniau

* Barn Josephus yn y lle hwn sydd deilwng o sylw, y dylid caniattau i bob un addoli Duw yn ol ei gydwybod ei hun; ac na ddylid ei ddirgymmell ym matterion crefydd. Felly y gall un sylwi, yn y gwrthwyneb, fod y lleill o'r Iuddewon fyth am rwymo pawb a briodent Iuddewon i enwaedu, a dyfod eu hunain yn Iuddewon; ac a oeddynt yn barod i ddifetha pawb a'r nad ymostyngent i wneuthur hynny.

Ptolemais, ond yn ugain ystad o Gibea, lle yr oedd arhosfa Ebutius; gosodais fy arfogwŷr y tu allan i'r faesdref, gan orchymyn iddynt wylio ar y ffyrdd gyd â gofal mawr, fel na aflonyddid ni gan y gelyn, nes i ni gludo ymaith yr ŷd; o'r hwn yr oedd mesur mawr yn gorwedd yno. Yr ydoedd yn perthyn i Bernice* y frenhines; ac a gasglasid ynghyd o'r maesdrefi cymmydogaethol i Besara. Felly myfi a lwythais fy nghamelod a'm basynod, rhifedi mawr o ba rai o ddygaswn gyd â mi, ac a ddanfonais yr ŷd i Galilea. Wedi i mi wneuthur hyn cynhygiais ymladdfa ag Ebutius. Ond pan na dderbyniodd y cynnygiad, (canys yr oedd wedi arswydo wrth ein parodrwydd a'n hyfdra,) mi gyfnewidiais fy ffordd, ac a gyrchais tu a Neopolitanus: oblegid i mi glywed fod y wlad o amgylch Tiberias wedi ei difrodi ganddo ef. Y Neopolitanus hwn ydoedd gadben llu o wŷr meirch; ac oedd â chadwedigaeth Scythopolis wedi ei ymddiried iddo gan y gelyn. Ac wedi i mi ei luddias i wneud ychwaneg o ddrygau o amgylch Tiberias, gosodais fy hun at wneuthur arlwyad tros achosion Galilea.

Ond wedi i Ioan, mab Lefi, yr hwn oedd yn cartrefu yn Gischala, gael ei wneud yn hyspys o'r modd yr oedd pob beth yn llwyddo yn ol fy meddwl; a'm bod mewn ffafr fawr â'r rhai oedd tanaf; a'r gelyn hefyd yn fy mawr ofni, nid ydoedd hyn wrth ei fodd; am feddwl o hono fod fy llwyddiant tueddu i'w ddinystr ef. A chan obeithio os gallai ennyn y rhai oedd tanaf i'm casâu, y dodai derfyn ar y llwyddiant yr oeddwn ynddo, fe geisiodd berswadio trigolion Tiberias, a Sepphoris, (ac am y rhai o Gabara, meddyliodd y byddent hwy o'r un feddyliau hefyd a'r lleill,) y rhai oeddynt ddinasoedd mwyaf Galilea, i droi ymaith oddiwrth eu hymostyngiad i mi, a dyfod o'i blaid ef; gan ddywedyd y llywodraethai arnynt y'mherthynas i boblSepphoris, y rhai ni pherthynent i neb o honom, o herwydd dewis o honynt fod mewn ymostyngiad i'r Rhufeiniaid, ni chydsyniasant â'i gynhygiad ef. Ac am y rhai o Tiberias, ni ddarfu iddynt gydsynio mor bell ag i ymwrthod â bod tanaf fi; ond hwy a gyttunasant i fod yn gyfeillgar ag ef. Pryd yr aeth trigolion Gabara trosodd at Ioan. A Simon ydoedd yr hwn a'u perswadiodd i wneuthur felly: un ag ydoedd yn ŵr pennaf yn y ddinas, ac yn gyfaill a chydymaith neillduol i Ioan. Mae'n wir na ddarfu i'r rhai hyn addef yn gyhoeddus eu hymwrthodiad â mi, am eu bod tan arswyd mawr o'r Galileaid, ac a gawsent brawf mynych o'u hewyllys da i mi. Etto hwy yn ddirgel a wyliasant am gyfleustra i osod maglau i mi. Ac yn wir, bum trwy hynny yn y peryglon mwyaf, oblegid yr achos canlynol.

Yr oedd rhai gwŷr ieuaingc hyfion o'r pentref Dabaritta, y rhai a ddaliasant sulw fod gwraig Ptolemy, rhaglaw'r brenin, yn myned i wneuthur rhodfa tros y gwastadedd mawr, gyd â gosgordd liosog; a chyd â rhai gwŷr meirch yn eu canlyn, fel gwarchawdlu iddynt; a hyn allan o'r wlad oedd tan ymostyngiad i'r brenin a'r frenhines, i lywodraeth y Rhufeiniaid, ac a syrthiasant arnynt yn ddisymmwth: fel y gorfu i wraig Ptolemy ffoi ymaith, a hwythau a yspeiliasant yr holl gerbydau. Hwy hefyd a ddaethant attaf fi i Tarichæ, gyd â phedwar o fulod, yn llwythog o wisgoedd a dodrefni eraill; a phwysau yr arian a ddygasant nid ydoedd ychydig: ac yr ydoedd gyd â hwynt bum cant o ddarnau aur hefyd. Yn awr yr oedd meddyliau genyf i gadw yr yspail hon i Ptolemy, yr hwn oedd gydwladwr â mi: ac fe † waherddir i ni gan ein cyfreithiau i yspeilio hyd yn oed ein gelynion. Felly dywedais wrth y rhai a ddygasant yr yspeiliau hyn, y dylid eu cadw mewn trefn i ail-adeiladu muriau Jerusalem, pan werthid hwynt. Ond y gwŷr ieuaingc a'i cymmerasant yn annhegwch mawr, os na dderbyniant ran o'r yspail hynny iddynt eu hunain, megis y disgwyliasent. Felly hwy a aethant i blith y pentrefi ynghymmydogaeth Tiberias, ac a ddywedasant wrth y bobl, fy mod i yn myned i fradychu y wlad i'r Rhufeiniaid; ac arferyd o honof

* Chwaer y Brenin Agrippa.

† Pa fodd y gallai Josephus ddywedyd yma, fod y cyfreithiau Iuddewig yn gwahardd iddynt yspeilio, hyd yn oed eu gelynion; tra etto, ychydig cyn yr amser hwn, ein Hiachawdwr a'i crybwyllasai fel rheol sefydlog yn eu plith, "Câr dy gymmydog, a chasâ dy elyn," Mat. v. 43. sydd yn werth ein hymofyniad. Yr wyf yn cymmeryd am Josephus, fel yr oedd yn awr yn Gristion Ebionaidd, ddarfod iddo ddysgu y dehongliad hwn o gyfraith Moses oddiwrth Grist, yr hwn yr oedd yn ei addef yn wir Fessia, fel y canlyn yn yr addodau canlynol. Yr hyn, er fe allai na ddarllenodd yn Efengyl S[t]. Matthew, etto gallasai ddarllen y cyffelyb esponiad yn eu Hefengyl Ebionaidd neu Nazareaidd ei hun. Am yr hyn ddiwygiad wedi ei wneuthur gan Josephus, yn ol ei ddyfod yn Gristion, ni gawsom eisoes amryw siamplau yn ei fywyd, ac a gawn amryw ychwaneg cyn ei ddiweddu, megis y maent i'w gweled mewn mannau eraill trwy ei holl ysgrifeniadau diweddaraf.

iaith dwyllodrus wrthynt hwy, pan ddywedaswn am y pethau a gymmerid trwy yspail, y cedwid hwy tu ag at ail-adeiladu muriau Jerusalem: er fy mod wedi penderfynu adferyd yr yspail drachefn i'w perchenog cyntaf. Ac yn wir nid oeddynt yn hyn yn camsynied ymberthynas i'm bwriadau. Canys wedi i mi fyned o'u cyrraedd hwynt, danfonais am ddau o bennaethiaid, Dassion, a Janneus mab Lefi, gwŷr ag oedd ym mysg y rhai pennaf o gyfeillion y brenin; a gorchymmynais iddynt gymmeryd y dodrefn a yspeiliasid, a'u hanfon i'r brenin. Ac mi a fygythiais y parwn eu dodi i farwolaeth mewn ffordd o gosp, os amlygent yr archiad hwn i neb rhyw bersonau eraill.

Yn awr wedi i holl Galilea gael ei llenwi â'r chwedl hwn, sef fod eu gwlad ynghylch cael ei bradychu i'r Rhufeiniaid, a phawb wedi cythruddo yn fy erbyn i, ac yn barod i'm dwyn dan gospedigaeth; trigolion Tarichæ hefyd a feddyliasant fod yr hyn a ddywedodd y gwŷr ieuaingc yn wirionedd; a pherswadiasant fy ngwarchawdlu a'm gwŷr arfog i'm gadael, pan fyddwn yn cysgu, a dyfod yn bresennol i'r gynghorfa, mewn trefn i gymmeryd cyngor yno yn fy erbyn i eu blaenorwr. Ac wedi iddynt eu perswadio, a'u cydgrynhoi, hwy a gawsant yno nifer mawr wedi ymgynnull: y rhai a unasant yn eu hachwyniaeth, i ddwyn y dyn ag oedd mor ddrygionus a'u bradychu hwynt i ddyledus gospedigaeth. A Jesus mab Sapphias, yn bennaf a'u gosododd ar waith. Yr oedd efe yn llywodraethu yn Tiberias, ac yn ddyn annuwiol; o naturiaeth a thuedd i wneuthur terfysgoedd mewn materion o ganlyniad. Dyn ymrysongar ydoedd yn wir, a gwrthwynebwr llywodraeth uwch law pawb arall. Yna y cymmerodd gyfreithiau Moses yn ei ddwylaw, ac a ddaeth i ganol y bobl, ac a ddywedodd, "O fy nghyd ddinasyddion, os nad ydych barod i gashau Josephus ar eich cyfrif eich hunain, bydded gennych barch, pa fodd bynnag, i'r cyfreithiau hyn o'ch gwlad, y rhai y mae eich pen-blaenor yn myned i'w bradychu. Casewch ef, gan hynny, ar bob un o'r cyfrifon hyn; a dygwch y gŵr a ymddygodd yn drahaus y modd hwn i haeddianol gospedigaeth."

Wedi iddo lefaru hyn, a'r lliaws yn ei ganmol am yr hyn a ddywedasai, fe gymmerodd rai o'r gwŷr arfog, ac a frysiodd i'r tŷ yr oeddwn i ynddo, fel pe buasai yn uniongyrch am fy lladd: tra yr oeddwn i yn hollol anwybodus o'r cwbl, nes digwydd y cythrwfl hwn; ac o herwydd y llafur a fuaswn ynddo yr oeddwn wedi syrthio i drym-gwsg. Ond Simon, yr hwn a ymddiriedasid iddo am ofal fy nghorph, ac a ydoedd yr * unig un a arosasai gydâ mi, a ganfu y rhuthr ag oedd y dinesyddion yn myned i wneuthur arnaf fi, a'm deffrodd; ac a'm rhybuddiodd o'r perygl yr oeddwn ynddo: ac fe ddymunodd arnaf adael iddo ef fy lladd: fel y byddwn farw yn wrolwych fel penciwdawd, cyn i'm gelynion ddyfod i mewn, a gwneuthur i mi ladd fy hun, neu gael fy lladd ganddynt hwy. Fel hyn yr ymddiddanodd â mi. Ond mi a orchymmynais ofal fy mywyd i Dduw, ac a wnaethum frys i fyned allan o'r dyrfa. Yn ganlynol, rhoddais wisg ddû am danaf, a chylymais fy nghleddyf â llinyn wrth fy ngwddf, ac a aethum trwy wahanol ffordd i'r gynghorfa, yn mha le y meddyliais na chyfarfyddid fi gan neb o'm gelynion. Felly mi ymddangosais yn eu mysg yn ddisymmwth, ac a syrthiais i lawr o'm hyd ar y ddaear, gan wlychu'r llawr â'm dagrau. Yna yr ymddangosais iddynt i gyd yn wrthddrych o dosturi. A phan sylwais ar y cyfnewid a wnaethpwyd yn y lliaws, mi ymdrechais i wahanu eu tybiau cyn i'r gwŷr arfog ddychwelyd o'm tŷ. Felly caniatteais im' fod mor ddrwg ag y tybiasant hwy. Ond etto mi ddeisyfais arnynt adael i mi yn gyntaf eu hyspysu i ba ddefnydd y cadwasom yr arian hynny a darddent oddiwrth yr yspail; ac yna y gallent hwy fy lladd os dewisent. Ac a'r lliaws yn gorchymmyn i mi lefaru, daeth y gwŷr arfog yn mlaen; a phan welsant fi, hwy a fynnent fy lladd. Ond pan barodd y lliaws iddynt attal eu dwylaw, hwy a gydsyniasant; gan ddisgwyl mai cyn gynted ag yr addefwn wrthynt gadw o honof yr arian i'r brenin, yr edrychid arno fel cyfaddefiad o'm rheswm, ac yna y caniatteid iddynt fy lladd.

Wedi i ddistawrwydd, gan hynny, gael ei wneuthur gan yr holl liaws, mi a lefarais fel hyn wrthynt: "O fy nghydwladwyr, nid wyf yn gwrthod marw, os yw cyfiawnder yn ei ofyn.

* Dywedir mewn lle arall, fod tri yn ychwaneg gyd âg ef: Hanes y Rhyf. II. 21.

Pa fodd bynnag, yr wyf yn ewyllysio tystio i chwi wirionedd y mater hwn cyn fy marw. Canys fel y gwyddwn fod eich dinas hon, Tarichæ, yn ddinas o haelioni mawr, ac yn llawn o'r fath ddynion ag a adawsant eu gwledydd eu hunain, ac a ddaethant yma i gyfrannogi o'ch lleshad, pa beth bynnag yw; yr oedd gennyf feddwl i adeiladu caerau o'i hamgylch, allan o'r arian hyn, pa rai yr ydych mor ddigllon tu ag attaf o'u herwydd; tra'r oeddynt i gael eu gwario yn adeilad eich muriau eich hunain." Ar fy ngwaith yn dywedyd hyn, pobl Tarichæ, a'r dieithriaid, a waeddasant allan eu bod yn ddiolchgar i mi, gan ddymuno arnaf gymmeryd calondid. Er bod y Galileaid a phobl Tiberias yn parhau yn eu llid tu ag attaf. Yn gymmaint ag i gythrwfl gyfodi yn eu mysg: tra yr oedd rhai yn bygwth fy lladd, ac eraill yn peri im' beidio gwrando arnynt. Ond wedi addaw yr adeiladwn furiau iddynt hwythau yn Tiberias, a dinasoedd eraill ag oedd mewn diffyg o honynt, gwnaethant dderbyniad o'r hyn a ddywedaswn, a phob un a ddychwelodd i'w dŷ ei hun. Felly mi a ddiangais rhag y dinystr rhag grybwylledig, tu hwnt i'm gobaith; ac a aethum ymaith i'm lletty fy hun, gyd â'm cyfeillion, ac ugain o wŷr arfog. Pa fodd bynnag yr yspeilwyr hynny, ac awdwyr eraill o'r terfysg hwn, y rhai oedd yn ofni o'u plegid eu hunain, rhag i mi eu cospi am yr hyn a wnaethent, a gymmerasant chwe chant o wŷr arfog, ac a ddaethant at y tŷ lle yr oeddwn yn aros, mewn trefn i'w osod ar dân. Wedi mynegi i mi am yr amcan hwn, tybiais ei fod yn anhardd i mi i ddiangc ymaith; ond mi ymröais i beryglu fy hun, ac i ymddwyn gyd â gradd o hyfdra. Felly rhoddais orchymmyn am gau'r drysau, ac a ddymunais iddynt anfon rhai o'u gwŷr i dderbyn arian yr yspail: canys dywedais na fyddai ganddynt wedi hynny un achos i fod yn ddig wrthyf. Ac wedi iddynt anfon i mewn un o'r rhai dewraf o honynt oll, mi orchymmynais ei fflangellu yn llym; a pherais i un o'i ddwylaw gael ei thorri ymaith, a'i chylymu wrth ei wddf. Ac yn yr agwedd yma y gadawyd iddo fyned allan at y rhai a'i gyrrasai i mewn. Wrth ba ryw weithred hwy a ddychrynasant yn fawr, ac a oeddynt mewn braw nid bychan; ac a ofnasant y trinid hwythau yr un modd os arosent yno. Canys hwy a feddyliasant fod gennyf yn y tŷ fwy o arfogion nag oedd gyd â hwynt eu hunain; felly hwy yn union-gyrch a ffoisant ymaith; tra y darfu i mi, trwy y ddyfais hon, ddiangc rhag yr ail fradwriaeth a osodwyd i'm herbyn.

Ond yr ydoedd etto rai a gythruddent y lliaws i'm herbyn: ac a ddywedasant na ddylai'r gwŷr mawr a berthynent i'r brenin gael eu goddef i fyw; os na dderbynient grefydd y rhai y ffoesent attynt am ddiogelwch. Siaradasant hefyd yn waradwyddus am danynt, gan ddywedyd, eu bod yn * swynwyr, ac yn gyfryw ag oedd yn galw y Rhufeiniaid i ddyfod arnynt. Felly y lliaws a hudwyd yn fuan â'r fath esgusodion dychymmygol ag oedd yn cyttuno â'u tueddiadau eu hunain ac a'u perswadiwyd i'w credu. Ond wedi fy ngwneuthur yn hyspys o hyn, mi amlygais i'r lliaws drachefn, na ddylai y rhai a ffoesai attynt am noddfa gael eu herlid. Gwatworais hefyd eu hymadrodd ynghylch swynion, ac a ddywedais na chynhaliai y Rhufeiniaid gynnifer mioedd o filwyr, pe gallent orchfygu eu gelynion â swynwyr. Ar fy nywediad o hyn, y bobl a gydsyniasant tros amser. Ond hwy a ddychwelasant drachefn; megis wedi eu cyffroi gan ryw bobl gableddus yn erbyn y gwŷr boneddigion. Ië, gwnaethant unwaith ymosodiad ar y tŷ ym mha un yr oeddynt yn preswylio yn Tarichæ, i'r diben i'w lladd hwynt. Yr hyn pan i'm gwnaed yn hyspys o hono, mi ofnais rhag i'r fath weithred echryslon gymmeryd lle, ac na wnai neb arall y ddinas honno yn noddfa iddynt mwyach. Daethum gan hynny fy hun, a rhai eraill gyd â mi, i'r tŷ yr oedd y gwŷr mawrion hyn yn byw ynddo, gan gloi y drysau: a pherais gloddio ffos ddofn a arweiniai oddi wrth eu tŷ hyd at y llynn; a danfonais am long, ar fwrdd pa un yr aethum gyd â hwynt, gan hwylio tu â chyffiniau Hippos. Telais hefyd iddynt werth eu meirch, yn gymmaint a'i fod yn ammhossibl, ar y fath ffoedigaeth, iddynt gymmeryd eu meirch gyd â hwynt Yna mi ymadewais â hwynt, ac a ddeisyfais yn daer arnynt am oddef yn galonnog y brofedigaeth hon a ddaethai arnynt. Yr oeddwn fy hun hefyd wedi anfoddloni yn fawr am orfod o honwyf

* Yma y gallwn sylwi ar y tŷb cyffredin oedd gan yr Iuddewon am swyngyfaredd neu ddewiniaeth; ond fod Josephus yn rhy ddoeth i wneuthur dim cyfrif o hono.

beryglu y rhai a ffoesant attaf trwy ddychwelyd drachefn i wlad eu gelyn. Etto mi dybiais fod yn fwy dewisol iddynt orfod syrthio ym mysg y Rhufeiniaid, os digwyddai felly, nag yn y wlad oedd tan fy llywodraeth fy hun. Pa fodd bynnag, hwy yn y diwedd a ddiangasant; a'r brenin Agrippa a faddeuodd iddo ei droseddiadau. A thyma a fu ddiwedd y peth a berthynodd i'r gwŷr hyn.

Ond am drigolion dinas Tiberias, hwy a ysgrifenasant at y brenin, i ddymuned arnom ddanfon byddin ddigonol iddynt i warchod eu gwlad: oblegid ewyllysio o honynt ddyfod trosodd atto ef. Hyn a ysgrifenasant atto. Ond pan ddaethum i attynt, hwy a ddymunasant arnaf adeiladu eu muriau, fel yr addawaswn wrthynt. Canys hwy a glywsant fod muriau Tarichæ eisoes wedi eu cyfodi. Yn ganlynol, cytuno a wnaethum â'u gofyniad. Ac wedi i mi wneuthur parottöad at yr holl waith, rhoddais orchymmyn i'r gweithwyr fyned yn ei gylch. Ond ar y trydydd dydd, pryd yr aethwn i Tarichæ, yr hon oedd ddeg ar hugain o ystadau oddi wrth Tiberias, canfuwyd rhai gwŷr meirch Rhufeinig ar eu cyrchfa yna, ac heb fod yn mhell oddi wrth y ddinas. Yr hyn a barodd i'r bobl feddwl fod y byddinoedd yn dyfod oddi wrth y brenin. Ar hyn, hwy a floeddiasant, ac a ddyrchafasant eu llais mewn canmoliaeth o'r brenin, a gwaradwyddiadau o honof fi: mewn canlyniad i'r hyn y daeth un ar redeg attaf, gan adrodd y peth oeddynt yn tueddu atto, a phenderfynu o honynt i droi oddi wrthyf fi. Wrth glywed y newyddion hyn, mi gyffröais yn fawr. Canys yr oeddwn eisoes wedi danfon ymaith fy ngwŷr arfog o Tarichæ i'w cartrefi eu hunain: o herwydd fod eiu Sabboth y dydd nesaf. Canys ni fynwn aflonyddu pobl Tarichæ ar y dydd hwnnw â lliaws o filwyr. Ac yn wir, pan fyddwn yn fy ymdaith trwy'r ddinas honno, ni chymmerais ofal neillduol am warchawd-lu o'm hamgylch; o herwydd cael o honof fynych arwyddion o ffyddondeb ei thrigolion tu ag attaf. Nid oedd genoyf yn awr gydâ mi ychwaneg na saith o wŷr arfog, heblaw rhai cyfeillion; ac yr oeddwn mewn amheuaeth pa beth i'w wneuthur. Canys i ddanfon i alw yn ol fy lluoedd fy hun, ni thybiais yn gymmwys; oblegid fod y dydd presennol yn nghylch myned trosodd. A phe buasai y minteioedd hynny gydâ mi, ni allaswn gymmeryd i fynu arfau y dydd nesaf; o herwydd fod ein cyfreithiau yn gwahardd i ni wneuthur hynny; ïe, pe byddai angenrheidrwydd mawr arnom. Ac os caniattawn i bobl Tarichæ, a'r dieithriaid gydâ hwynt, warchawd ar y ddinas, gwelais nad oeddynt ddigonol i'r pwrpas hwnnw; a chanfyddais y byddwn rwymedig i oedi fy nghynnorthwy tros hir amser. Canys tybiais ynof fy hun y byddai i'r fyddin a ddaethai oddiwrth y brenin fy rhagflaenu; ac y gyrrid fi allan o'r ddinas. Ystyriais, gan hynny, pa fodd y gallwn ddiangc oddi ar y lluoedd hyn trwy gyfrwysedd. Felly yn ddioed mi osodais fy nghyfeillion hynny o Tarichæ, ar ba rai y gallwn hyderu fwyaf, wrth y pyrth, i wylio yn dra gofalus y rhai a elent allan trwyddynt. Gelwais hefyd attaf bennau teuluoedd; ac a berais i bob un o honynt gymmeryd * llong, i fyned ar ei bwrdd, a chymmeryd blaenor arnynt, a'm dilyn hyd at y ddinas Tiberias. Myfi hefyd a aethum ar fwrdd un o'r llongau hynny, gyd â'm cyfeillion, â'r saith wŷr arfog a grybwyllwyd eisoes, ac a hwyliasom i Tiberias.

Ond yn awr trigolion Tiberias wedi canfod na ddaethai dim lluoedd oddiwrth y brenin, ac etto yn gweled y llynn yn llawn o longau; yr oeddynt yn arswydo pa beth a ddeuai o'u dinas, ac mewn dychryn mawr; trwy feddwl fod y llongau yn llawn o wŷr. Felly hwy ar ol hynny a newidiasant eu meddyliau, ac a fwriasant eu harfau i lawr; gan ddyfod i'm cyfarfod gyd â'u gwragedd a'u plant, tan grechwenu a gwneuthur canmoliaethau i mi. Canys hwy a dybiasant na's gwyddwn am eu hymddygiad blaenorol yn fy erbyn. Felly hwy a'm perswadiasant i arbed y ddinas. Ond wedi dyfod yn ddigon agos i'r dref, gorchymmynais i feistriaid y llongau fwrw angor mewn cryn bellder oddiwrth y tir, fel na wybyddai pobl Tiberias fod y llongau yn wag o ddynion. Ond mi a aethum yn nes i'r lan yn un o'r llongau, ac a'u ceryddais oblegid eu hyn-

* Yn y paragraph hwn, yn gystal a rhai eraill, y llestri bychain a hwylient ar fôr Galilea, a elwir gan Josephus yn eglur, llongau. Felly ni raid i ni ryfeddu wrth ein hefengylwyr y rhai ydynt hefyd yn eu galw yn llongau. Ac ni ddylem eu dehongli yn gychod, megis ag gwna rhai. Eu nifer oll oeddynt 230, megis ag y dysgwn gan yr awdwr mewn lle arall. Gwel Am y Rhyf. II. 21.

fydrwydd, ac am eu bod mor gyfnewidiol a darfod iddynt yn ddiachos droi oddiwrth eu ffyddlondeb i mi. Pa fodd bynnag, mi sicrheais y maddeuwn iddynt yn llwyr am yr amser i ddyfod, os danfonent i mi ddeg o flaenoriaid y terfysg ym mhlith y lliaws. A phan gydsyniasant yn barod â'r ammod hwn, ac y danfonasant y dynion attaf; gosodais hwynt ar fwrdd llong, ac a'u danfonais ymaith i Tarichæ, ac a berais eu cadw hwynt yngharchar.

Trwy'r moddion hyn mi gefais yn raddol holl seneddwyr Tiberias tan fy awdurdod, ac a'u danfonais i'r ddinas ragddywededig, gyd â llawer o'r rhai pennaf ym mhlith y werin; a'r rhai hyn nid yn llai o rifedi nag eraill. Ond wedi i'r lliaws weled i ba fawr drueni y dygasant eu hunain, dymunasant arnaf fi gospi awdwr eu hymrysonau. Ei enw ydoedd Clytus, gwr ieuangc, hŷf a byrbwyll yn ei anturiaethau. Yn awr gan na fernais ei fod yn gyttûn a chrefydd i roddi un o'm pobl fy hun i farwolaeth; ac etto yn gweled fod yn angenrheidiol ei gospi ef; gorchymmynais i Lefi, un o'm gwarchawdlu, i fyned atto, a thorri ymaith un o ddwylaw Clytus. Ond fel yr oedd yr hwn a orchymynasid i wneuthur hynny yn ofni myned allan o'r llong ei hun i blith lliaws mor fawr, nid oeddwn yn ewyllysio i ddigalondid y milwr ymddangos i bobl Tiberias. Felly mi elwais ar Clytus, ac a ddywedais wrtho, "Gan dy fod yn haeddu colli pob un o'th ddwylaw am dy anufudd-dod i mi: bydd yn ddihenyddwr it' dy hun: rhag, os gommeddi wneuthur hynny, i ti fyned tan waeth cospedigaeth." A phan daer erfyniodd arnaf am arbed iddo un o'i ddwylaw, gyd ag anhawstra y caniatteais iddo hynny. Felly mewn trefn i ragflaenu y golled o'i ddwylaw, efe yn ewyllysgar a gymmerodd ei gleddyf, ac a dorrodd ymaith ei law asswy ei hun. A hynny a ddododd ddiwedd ar yr ymryson.

Yn awr gŵyr Tiberias, wedi myned o honof ymaith i Tarichæ, a ganfuant pa ryw ddyfais a arferaswn yn eu herbyn; a rhyfeddasant wrth y drefn a gymmerais i roddi terfyn ar eu hynfyd ymryson, heb dywallt gwaed. Ond yn awr, pan ddanfonais am rai o liaws pobl Tiberias o garchar, ym mysg pa rai yr oedd Justus, a'i dad Pistus, gwnaethum iddynt swppera gyd â mi. Ac ar bryd swpper mi ddywedais wrthynt, y gwyddwn am allu y Rhufeiniaid ei fod tu hwnt i bawb eraill; ond ni ddywedais hynny ar gyhoedd o herwydd yr yspeilwyr.

Felly mi a'u cynghorais i wneuthur fel y gwnaethwn innau, ac i ddisgwyl cyfleusdra addas; a pheidio anesmwytho wrth fy mod i yn benaeth arnynt; am na allent ddisgwyl cael arall a arferai y cyffelyb gymmedroldeb tu ag attynt ag a wnaethum i. Dodais hefyd Justus mewn cof, y modd y torrodd y Galileaid ymaith ddwylaw ei frawd, cyn i mi ddyfod i Jerusalem, ar gyhuddiad a osodasid i'w erbyn o fod yn dwyllwr, a ffuglunio rhai llythyrau ganddo: megis hefyd y modd y darfu i bobl Gamala, mewn terfysg a godasant yn erbyn y Babiloniaid, ar ol ymadawiad Philip, ladd Ceares, yr hwn oedd gâr Philip: a chyd â'r cwbl, y modd y darfu iddynt yn ddoeth gospi Jesus, (gwr chwaer Justus ei frawd) â marwolaeth. Wedi im' ddywedyd hyn wrthynt bryd swpper, yn y boreu mi a orchymmynais fod i Justus, a'r lleill i gyd ag oedd yngharchar, gael eu rhyddhau a'u gollwng ymaith.

Ond o flaen hyn, fe ddigwyddodd i Philip, mab Jacimus, fyned allan o dŵr Gamala ar yr achos canlynol. Wedi i Philip gael ei hyspysu fod Varus wedi ei ddodi allan o'i lywodraeth gan frenin Agrippa; a bod Modius Equicolus, gŵr ag oedd gynt yn gyfaill a chydymaith iddo, wedi ei osod yn ei le ef; fe ysgrifenodd atto, ac a adroddodd pa droïon mewn ffortun a gyfarfuasai: gan ddymuned arno drosglwyddo y llythyrau a ddanfonodd ym mlaen i'r brenin a'r frenhines. Yn awr wedi i Modius dderbyn y llythyrau hyn, yr ydoedd yn dda ragorol ganddo; ac a hyflorddodd y llythyrau i'r brenin a'r frenhines, y rhai yr amser hynny oeddynt ynghylch Berytus. Ond pan wybu y brenin Agrippa fod yr hanes ynghylch Philip yn ffugiol; (canys fe roesid allan fod yr Iuddewon wedi dechrau rhyfel â'r Rhufeiniaid; ac mai'r Philip hwn a fuasai eu blaenor yn y rhyfel hwnnw:) fe anfonodd rai gŵyr meirch i fod yn arweinwyr i Philip atto ef; ac wedi ei ddyfod, efe a'i cyfarchodd yn dra charedig, ac a'i dangosodd i'r blaenoriaid Rhufeinig; dywedodd wrthynt mai efe oedd y dyn, pa un yr aethai'r sôn o amgylch am dano ei fod yn gwrthryfela yn erbyn y Rhufeiniaid. Parodd iddo hefyd gymmeryd gŵyr meirch gyd ag ef, a myned ar frys i dŵr Gamala:

i ddwyn oddi yno allan ei holl dylwyth; ac adferyd Batanea i'r Babiloniaid drachefn. Rhoddodd iddo hefyd mewn gorchymmyn, i gymmeryd pob gofal ag oedd bosibl, na fyddai neb o'i ddeiliaid yn euog o beri terfysgoedd. Yn ganlynol ar dderbyniad y cyfarwyddiadau hyn gan y brenin, fe frysiodd i wneuthur yr hyn a orchymmynasai.

Yn awr yr ydoedd un Joseph, mab i wraig o feddyges, yr hwn a gynhyrfodd lawer o ddynion ieuaingc i uno ag ef. Efe hefyd a ymadroddodd yn falchiadd a thrahaus wrth bennaethiaid Gamala, gan eu perswadio i droi ymaith oddiwrth y brenin, a chymmeryd i fynu arfau: ac a'u cefnogodd â gobaith y byddai iddynt trwy'r moddion hynny adferyd eu rhyddid. A rhai o orfod a yrrasant i'r gwasanaeth: a'r cyfryw na ymroddai i'r hyn a benderfynasent yn ei gylch, a laddasant.

Hwy hefyd a laddasant Chares; a chyd ag ef Jesus, un o'i geraint, a brawd Justus o Tiberias, fel y dywedasom eisoes. Y rhai o Gamala hefyd a ysgrifenasant attaf fi, i ddymuno arnaf anfon iddynt wŷr arfog, a gweithwyr i gyfodi mur eu dinas. Ac ni omeddais yr un o'u gofynion. Talaith Gaulanitis hefyd a droesant ymaith oddi wrth y brenin, mor bell a maesdref Solyma. Myfi hefyd a adeiladais fur o amgylch Selucia, a Sogauni; y rhai ydynt faesdrefi o fawr gadernid. Ymhellach, myfi a furiais o amgylch amryw bentrefi yn Galilea uchaf, er eu bod yn dra chreiglyd a geirwon o honynt eu hunain. Eu henwau ydynt Jamnia, Meroth, ac Acabare. Hefyd, mi amddiffynais, yn Galilea isaf, ddinasoedd Tarichæ, Tiberias, a Sepphoris, a'r pentrefi; gyd ag ogof Arbela, Bersobe, Selamin, Jotapata, Capharecho, Sigo, a Japha, a *mynydd Tabor. Gosodais hefyd i fynu fesur mawr o ŷd yn y lleoedd hyn, ac arfau gyd â'r cyfan; y rhai a allai fod er diogelwch iddynt ar ol hynny.

Ond y casineb ag oedd Ioan mab Lefi yn ei ddwyn tu ag attaf a gynnyddodd yn fwy tanbaid, pryd nas gallodd oddef fy llwyddiant yn amynedgar. Felly fe amcanodd ynddo ei hun trwy bob moddion ag oedd bossibl i ymwneud am danaf. Ac fe adeiladodd furiau Gischala, yr hwn oedd le ei enedigaeth. Yna fe ddanfonodd ei frawd Simon, a Jonathan mab Sisenna, ac ynghylch cant o wŷr arfog, i Jerusalem at Simon fab Gamaliel;† mewn trefn i'w berswadio ef i annog y gwŷr o awdurdod yn Jerusalem i gymmeryd ymaith oddi wrthyf fi y llywodraeth ar Galilea, ac i roddi eu pleidair am sefydlu yr awdurdod honno arno ef. Y Simon hwn ydoedd yn un o ddinas Jerusalem, ac o deulu tra ardderchog, o sect y Phariseaid, y rhai a gyfrifir eu bod yn rhagori ar eraill yn manylrwydd gwybodaeth o gyfreithiau eu gwlad. Yr ydoedd efe yn ŵr o ddoethineb mawr a rhesymol; ac yn alluog i adferyd achosion cyhoeddus, trwy ei bwyll a'i gallineb, pan fyddent yn ddrwg eu hagwedd a'u hamgylchiad. Yr ydoedd hefyd yn hen gyfaill a chydymaith i Ioan: ond ar yr amser hwnnw yr oedd ymrafael rhyngddo â mi. Wedi iddo, gan hynny, dderbyn y fath annogaeth, fe berswadiodd yr archoffeiriaid Ananus, a Jesus mab Gamala, a rhai eraill o'r un ymblaid derfysgus, i'm torri i lawr, pan yr oeddwn wedi tyfu mor frigog; a pheidio esgusodi fy nyrchafiad i'r fath radd o uchder. Ac fe ddywedodd y byddai er mantais i'r Galileaid fy nifuddio o'r llywodraeth arnynt. Ananus hefyd, a'i gyfeillion, a ddymunodd na oedent ddim mewn perthynas i'r mater, rhag i mi wybod am yr hyn a fyddai yn cael ei wneuthur yn rhy fuan, a dyfod i wneud ymosodiad ar y ddinas â byddin liosog Dyma ydoedd cyngor Simon. Ond Ananus yr archoffeiriad, a amlygodd iddynt nad oedd hyn yn beth hawdd i'w wneuthur: o herwydd fod llawer o'r archoffeiriaid, a llywodraethwyr y bobl, yn dwyn tystiolaeth, fy mod wedi ymddwyn fel cad-flaenor rhagorol, ac mai gwaith dynion drwg oedd achwyn ar un yn erbyn yr hwn nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd.

Wedi i Simon glywed Ananus yn dywedyd hyn, fe ddymunodd ar y negeseuwyr i gadw'r peth yn ddirgel, a pheidio gadael iddo fyned i blith llawer. Oblegid y cymmerai efe ofal i beri symmudfa i Josephus allan o Galilea yn

* Rhan o'r amddiffynfeydd hyn ar Fynydd Tabor a allai fod y rhai sydd yn sefyll hyd yn bresennol; ac a welwyd gan Mr. Maundrel. Gwel Hanes ei Deithiau, t. d. 112.

† Y Gamaliel hwn a ddichon fod yr un ag a grybwyllir gan y Rabbiniaid yn y Mishna, yn Juchasin, ac yn y Porta Musis; megis ag y sylwir yn y nodau Lladin. Gallai fod hefyd yn Gamaliel YR AIL, taid pa un oedd Gamaliel Y CYNTAF, yr hwn a grybwyllir Act. v. 34. ac wrth draed pa un y dygwyd i fynu St. Paul, Act. xxii. 3. Gwel Prideaux ar y flwyddyn 446.

dra buan. Felly fe alwodd am frawd Ioan, Simon, ac a archodd iddynt anfon anrhegion i Ananus a'i gyfeillion: canys, fel y dywedodd efe, y gallent ysgatfydd, trwy'r moddion hynny eu perswadio i newid eu meddyliau. Ac yn wir, Simon o'r diwedd a gwblhaodd yr hyn ag oedd yn cyfeirio atto. Canys Ananus, a'r rhai oedd gyd âg ef, wedi eu llygru â gwobrwyon, a gyttunasant i'm bwrw allan o Galilea, heb wneuthur eraill o'r dinasyddion yn hyspys o'r peth yr oeddynt yn ei wneuthur. Yn ganlynol, hwy a ymroesant i ddanfon gwŷr enwog o ran eu graddau, a'u dysgeidiaeth hefyd. Dau o'r rhai hyn ydoedd o'r boblogaeth; Jonathan, * ac Ananias, o ran eu plaid yn Phariseaid: tra yr oedd y trydydd, Jozar, o dylwyth yr offeiriaid, ac yn Pharisead hefyd: a Simon, y diweddaf o honynt, oedd yr ieuangaf o'r archoffeiriaid. Gan y rhai hyn yr ydoedd mewn gorchymmyn, pan ddeuent at liaws y Galileaid, i ofyn iddynt beth oedd y rheswm am eu serch tu ag attaf fi? Ac os dywedent mai o herwydd fy ngeni yn Jerusalem, iddynt hwythau atteb, eu bod hwy ill pedwar a'u genedigaeth o'r un lle. Ac os dywedent mai oblegid fy mod yn gyfarwydd yn eu cyfraith, ar iddynt atteb, nad oeddynt hwythau yn anhysbys o ddefadau eu gwlad. Ond os byddai iddynt, heblaw hyn, amlygu eu cariad tu ag attaf am fy mod yn offeiriad, yr attebent, fod dau o honynt hwy yn offeiriaid hefyd.

Yn awr, wedi traddodi o honynt i Jonathan a'i gymdeithion, y cyfarwyddiadau hyn, rhoddasant iddynt ddeugain mîl o drachmæ allan o'r drysorfa gyffredin. Ond pan glywsant fod rhyw Galilead yn ymdaith y pryd hynny yn Jerusalem, enw pa un ydoedd Jesus, yr hwn oedd ganddo o'i amgylch lû o gant o wŷr arfog; hwy a ddanfonasant am dano, a chyttunasant i dalu iddo am dri mis, gan orchymmyn iddo ddilyn Jonathan, a'i gymdeithion, a bod yn ufudd iddynt. Rhoddasant hefyd arian i dri chant o wŷr ag ydoedd yn ddinasyddion Jerusalem, i'w diwallu hwynt oll; ac a orchymmynasant iddynt hwy hefyd ddilyn y cennadyddion. Ac wedi cydsynio o honynt, a chael pob peth yn barod i'r ymgyrch, Jonathan a'i gymdeithion a gychwynodd gydâ hwynt; ac a chanddynt hefyd yn eu cymdeithas frawd Ioan, a chant o wŷr arfogion. Y gorchymmyn a roddwyd iddynt gan y rhai a'u danfonasai ydoedd hyn: Os rhoddwn yn ewyllysgar i lawr fy arfau, ar iddynt fy anfon yn fyw i Jerusalem. Ond os gwrthwynebwn hwynt, ar fod iddynt fy lladd yn ddiofn: oblegid mai'r gorchymmyn a gawsent ydoedd i wneuthur felly. Ysgrifenasant hefyd at Ioan i ymbarottoi i ymladd â mi: a gorchymmyn i drigolion Sepphoris, Gabara, a Thiberias, i anfon cynnorthwyadon i Ioan.

Yn awr fel yr ysgrifenodd fy nhad attaf yr hanes o hyn (canys Jesus, mab Gamala, yr hwn oedd bresennol yn y cyngor hwnnw, cyfaill a chydymaith i mi, a fynegodd hyn iddo:) fe'm trallodwyd yn fawr; megis fod yn cael ei ddatguddio i mi wrth hynny, fod fy nghyd-ddinasyddion yn profi mor anniolchgar i mi: ac oddi ar gynfigen yn rhoi gorchymmyn i'm lladd. Fy nhad hefyd am taer-gymmellodd yn ei lythyr i ddyfod atto ef, am ei fod yn hiraethu gweled ei fab cyn ei farw. Gwnaethum fy nghyfeillion yn hyspys o'r pethau hyn; ac mai ym mhen tridiau y gadawn y wlad, ac y dychwelwn adref. Wedi clywed hyn, yr oeddynt oll yn drâ gofidus; ac a ddeisyfiasant arnaf, gyd â dagrau yn eu llygaid, na adawn hwynt i gael eu dinystrio: canys felly y tybiasant y digwyddai iddynt, os cymmerid oddi wrthyf fy llywodraeth arnynt. Ond fel na chaniatteais eu deisyfiad, ond a oeddwn yn gofalu i'm diogelu fy hun, y Galileaid, trwy ofni'r canlyniad o'm hymadawiad, y byddent ar ol hynny yn ddarosyngedig i drugaredd yr yspeilwyr, a ddanfonasant genhadon tros holl Galilea, i'w hyspysu o'm bwriad i'w gadael hwynt. Ar hynny mor gynted ag y clywsant fy hanes, hwy a ymgasglasant ynghyd yn nifeiri mawrion, o bob parth, gyd â'u gwragedd, a'u plant: a hyn a wnaethant, fel yr ymddangosodd i mi, nid yn fwy oddi ar eu serch tu ag attaf, nag oblegid eu hofn ar eu cyfrif eu hunain. Canys tra'r arhoswn i gyd â hwynt, meddyliasant na chaent ddioddef dim niweid. Felly hwy a ddaethant oll i'r gwastadedd mawr, ym mha le yr oeddwn yn byw, a'i enw Asochis.

Ond rhyfedd oedd y breuddwyd a welais y nos honno; canys wedi myned o honof i'm gwely, mor ofidus a therfysglyd oblegid y newydd-

* Y Jonathan hwn a gymmerir hefyd sulw o hono yn y nodau Lladinaidd, megis yr un ag a grybwyllir gan y Rabbiniaid yn Porta Mosis.

ion a ddaethai yn 'sgrifenedig attaf; ymddangosodd fel pe buasai ryw berson yn sefyll yn fy ymyl, ac * yn dywedyd, "O Josephus! gad heibio ofidio dy enaid, a dod ymaith dy holl ofn. Canys yr hyn sydd yn awr yn dy flino a bar i ti fawr dderchafiad, ac a'th wna yn dra happus. Canys tydi a orchfygi nid yn unig yr anhawsderau hyn, ond llawer eraill, gyd â llwyddiant mawr. Pa fodd bynnag, na ddarostynger di trwy ddigalondid, ond cofia dy fod i ymladd â'r Rhufeiniaid." Wedi i mi weled y breuddwyd hwn, mi godais i fynu gyd ag amcan i fyned i lawr i'r gwastadedd. Yn awr wedi i holl liaws y Galileaid, ym mhlith pa rai yr oedd y gwragedd a'r plant, fy ngweled, hwy a fwriasant eu hunain i lawr ar eu hwynebau; a chyd â dagrau yn eu llygaid, hwy a attolygasant arnaf i beidio â'u gadael yn agored i'w gelynion; nac i ymado ymaith, a chaniattau i'w gwlad gael ei drygu ganddynt hwy. Ond pan na chydsyniais â'u herfyniadau, hwy a wnaethant i mi gymmeryd llŵ yr arhoswn gyd â hwynt. Bwriasant hefyd waradwyddiadau helaeth ar bobl Jerusalem, am na adawent i'w gwlad fwynhau heddwch.

Pan glywais hyn, a gweled pa ofid oedd y bobl ynddo, fe'm cynhyrfwyd i dosturi tu ag attynt; ac a feddyliais fod yn ddyledus arnaf i fyned tan y peryglon mwyaf amlwg ar gyfrif lliaws mor fawr. Felly mi adewais iddynt wybod yr aroswn gyd â hwynt. Ac wedi gorchymmyn i bum mil o honynt ddyfod attaf yn arfogion, a chyd ag ymborth er eu cynhaliaeth, danfonais ymaith y lleill i'w trigfannau eu hunain. Ac wedi dyfod y pum mil hynny ymlaen, cymmerais hwynt, ynghyd a'r teirmil o wŷr arfog oedd gyd â mi o'r blaen, a phedwar ugain o wŷr meirch; a chychwynais tu a'r faesdref † Chabolo, ar gyffiniau Ptolemais: ac yno y cedwais fy myddin ynghyd; gan gymmeryd yn esgus wneuthur o honom barottoad i ymladd â Placidus, yr hwn a ddaethai gyd â dwy fintai o wŷr traed, a llu o wŷr meirch, wedi ei anfon gan Cestius Gallus, i losgi y pentrefi hynny yn Galilea, ag oedd agos i Ptolemais. Ar waith pa un yn gosod i fynu wrthglawdd o flaen dinas Ptolemais, minneu hefyd a wersyllais yn y pelldra o driugain ystad oddiwrth y faes-dref honno. Yn awr, nyni yn aml a ddygasom allan ein lluoedd, fel pe buasem am ymladd; ond ni wnaethom ychwaneg nag ymryson, a bygwth ein gilydd o bell. Canys wedi i Placidus ganfod fy mod i yn chwannog i ddyfod i ymladdfa, yr oedd efe yn ofni, ac am ochelyd hynny. Etto ni chiliodd ymaith o gymmydogaeth Ptolemais.

Ynghylch yr amser hwn y bu ddyfodiad Jonathan, a'i gyd-genhadwyr. Hwy a ddanfonasid, fel y dywedasom eisoes, gan Simon, ac Ananus yr archoffeiriad. A Jonathan a ddyfeisiodd pa fodd y cymmerid fi trwy fradwriaeth. Canys ni feiddiai wneuthur un cynhygiad arnaf yn gyhoeddus. Felly fe ddanfonodd i mi yr epistol canlynol:

"Jonathan, a'r rhai sydd gyd âg ef, wedi eu hanfon gan bobl Jerusalem, at Josephus, yn anfon annerch. Yr ydym wedi ein hanfon gan bennaethiaid Jerusalem; y rhai a glywsant fod Ioan o Gischala wedi gosod llawer o faglau i ti, i'r diben i'w geryddu ef, a'i gynghori i ymostwng i ti yn ol hyn. Yr ydym hefyd yn ewyllysio ymgynghori á thi ynghylch ein hachosion cyffredin; a pha beth sydd gymmwys i'w wneuthur. Yr ydym gan hynny, yn dymuno arnat ddyfod attom ar frys; a dwyn yn unig ychydig wŷr gyd â thi: canys ni chynnwys y faesdref hon nifer fawr o filwyr."

Fel hyn y bu iddynt ysgrifenu; megis â disgwyliad am un o ddau beth; sef, un ai y deuwn attynt heb wŷr arfog gyd â mi, ac yna y byddai iddynt fy nghael tan eu hawdurdod; neu os deuwn â llu o filwyr, y barnent fi yn elyn cyhoeddus. Yn awr, un o'r gwŷr meirch oedd yr hwn a ddug y llythyr; gwr ar brydiau eraill a arferodd hyfdra, ac un a wasanaethasai yn y fyddin tan y brenin. Yr amser y bu iddo ddyfod ydoedd yr eilfed awr o'r nos, pan yr oeddwn yn gwledda gyd â'm cyfeillion, a phennaethiaid y Galileaid. Y gwr hwn, wedi i'm gweinidog ddywedyd i mi, fod rhyw un o wŷr meirch perthynol i'r genedl Iuddewig yno, a alwyd i mewn wrth fy ngorchymmyn i; ond

* Dyma y cyntaf, fel yr wyf yn cymmeryd, o ddwyfol freuddwydion nodedig Josephus, ag oedd yn rhagfynegiad o bethau mawrion a ddaeth i ben yn ol hynny. Am yr hyn gwelwch ychwaneg yn y nodau ar Hynaf. III. 8. Arall sydd yn Hanes y Rhyf. III. 8. 3.

† Os gwir yw y darlleniad Chabolo, canys felly y ceir yn yr holl llaw-'sgrifeniadau, pa ddychymmygion bynnag sydd i'r gwrthwyneb, nid wyf yn gweled un rheswm digonol i brofi nad hon oedd tref bennaf, neu bentref gwlad Cabul, a roddwyd i Hiram gan Solomon, ond a wrthodwyd ganddo, ac a alwyd trwy hynny gwlad Cabul, neu le annymunol, ac heb fod i'w chwennych. 1 Bren. ix. 13. Nid ydoedd, mae'n sicr, ym mhell oddiwrth y lle hwn; neu ynghymmydogaeth Ptolemais.

ni wnaeth gymmaint a'm cyfarch oll; eithr daliodd allan lythyr yn ei law, ac a ddywedodd, "Y llythyr hwn a ddanfonwyd i ti gan y rhai a ddaethant o Jerusalem. Bydded i attebiad iddo gael ei ysgrifenu ar fyr gennyt; oblegid yr wyf fi yn rhwym i ddychwelyd attynt yn dra buan." Yn awr, ni fedrai fy ngwahoddedigion amgen na rhyfeddu wrth hyfdra'r milwr. Ond myfi a ddymunais arno eistedd i lawr, a swppera gyd â ni. Ond pan wrthododd wneuthur hynny, mi ddeliais y llythyr yn fy llaw, megis y derbyniaswn ef, ac a ddechreuais ymddiddan â'm gwahoddwyr ynghylch materion eraill. Ond ym mhen ychydig oriau ar ol hynny mi gyfodais i fynu; a phan ollyngais ymaith y lleill i fyned i'w gwelyau, perais i bedwar yn unig o'm cyfeillion sefyll ar ol; ac a orchymmynais i'm gweision barottoi ychwaneg o win. Agorais hefyd y llythyr yn y fath fodd na's gallai eraill ei weled. A chan ddeall wrth hynny yn ebrwydd amcan yr ysgrifen, mi a'i seliais i fynu drachefn; ac a ymddangosais fel pe buaswn heb ei ddarllen; ond yn unig ei ddal yn fy nwylaw. Yna y perais i ugain drachmæ gael eu rhoddi i'r milwr at gost ei daith. A phan gymmerodd hwynt, a dywedyd ei fod yn diolch i mi am danynt, canfyddais ei fod yn caru arian; a'i fod i'w ennill yn bennaf trwy'r moddion hynny; ac mi a ddywedais wrtho, "Pe byddai i ti yfed gyd â ni, rhoddwn i ti ddrachmæ am bob cwppanaid a gymmerit." Felly fe gofleidiodd y cynnygiad, ac a yfodd fesur mawr o win, mewn trefn i gael yr arian; a meddwodd hefyd mor bell, fel o'r diwedd na's medrodd gadw yn ddirgel y negeseuon a ymddiriedasid iddo yn eu cylch, ond fe'u hamlygodd heb i neb wneuthur gofynion o'u plegid: sef, fod amcan bradwriaethus yn cael ei lunio yn fy erbyn i; a'm barnu i farw gan y rhai a'i danfonasai. Pan glywais hyn, mi ysgrifenais yn ol yr attebiad hwn:

"Josephus at Jonathan, a'r rhai gyd âg ef, yn anfon annerch. Ar yr hyspysiad hwn o'ch dyfodiad i Galilea, yr wyf yn llawenychu; a hyn yn enwedig am y gallaf yn awr roddi i fynu ofal yr achos cyffredin yma i'ch dwylaw chwi, a dychwelyd i wlad fy ngenedigaeth, yr hyn a chwennychais ei wneuthur er's hir amser. Ac yr wyf yn cyfaddef, y dylwn nid yn unig ddyfod attoch cyn belled a Xaloth, ond ymhellach, a hyn heb eich gorchymmyn. Ond yr wyf yn dymuno arnoch fy esgusodi am na's gallaf ei wneuthur yn awr, gan fy mod yn gwylio symmudiadau Placidus; yr hwn sydd â dymuniad ganddo i fyned i fynu i Galilea; a hyn yr wyf yn ei wneuthur yma yn Chabolo. Bydded i chwi, gan hynny, ar dderbyniad yr epistol hwn, ddyfod yma attaf fi. Ffarewel."

Wedi i mi ysgrifenu y modd hwn, a rhoddi y llythyr i'w ddwyn ymaith gan y milwr; danfonais gyd ag ef ddeg ar hugain o'r Galileaid mwyaf anrhydeddus; gan eu cyfarwyddo i gyfarch y cennadwyr hynny, ond i ddywedyd dim ymhellach wrthynt. Gorchymmynais hefyd i gynnifer o'r gwŷr arfog ag a gyfrifais yn fwyaf ffyddlon i mi, i fyned gyd â'r lleill; pob un gyd â'r neb ag oedd i wylied trosto: rhag i ryw ymddiddan fyned rhwng y rhai a ddanfonais â Jonathan.

Felly y gwŷr hyn a aethant at Jonathan. Ond wedi i Jonathan a'i gymheiriaid fethu yn eu cynhygiad cyntaf, danfonasant attaf lythyr arall; cynhwysiad pa un oedd fel y canlyn:

"Jonathan, a'r rhai sydd gyd ag ef at Josephus yn anfon annerch. Yr ydym yn gofyn gennyt ddyfod attom ni, i'r faesdref Gabaroth, ar y trydydd dydd, heb neb rhyw wŷr arfog; fel y gwrandawom yr hyn sydd gennyt i'w osod yn erbyn Ioan o Gischala."

Wedi iddynt ysgrifennu y llythyr hwn, hwy a gyfarchasant y Galileaid a ddanfonaswn, ac a ddaethant i Japha; yr hon oedd y faesdref helaethaf yn holl Galilea, ac wedi ei hamgylchu â muriau tra chedyrn, ac ydoedd a chanddi nifer mawr o drigolion o'i mewn. Yno y lliaws gwŷr gyd â'u gwragedd a'u plant, a'u cyfarfuant, ac a lefasant yn uchel yn eu herbyn; gan ddymuno arnynt fyned ymaith, a pheidio cynfigennu wrthynt oblegid y fantais o flaenor tra rhagorol. A'r achwyniadau hyn, Jonathan a'i gymheiriaid a gythruddwyd yn fawr; er na feiddient ddangos eu digter yn gyhoeddus. Felly ni wnaethant iddynt un attebiad; ond hwy a aethant i bentrefi eraill. Ond etto yr un achwyniaeth a'u cyfarfu oddi wrth yr holl bobl; y rhai a ddywedasant na chai neb eu perswadio hwynt i gymmeryd blaenorwr arall heblaw Josephus. Felly Jonathan a'i gymheiriaid a aethant ymaith oddiwrthynt, heb lwyddo dim: ac a ddaeth-

ant i Sepphoris, y ddinas fwyaf yn holl Galilea. Yn awr gwŷr y ddinas honno, y rhai a ogwyddent at y Rhufeiniaid yn eu barnau, a aethant yn wir i'w cyfarfod: ond ni wnaethant na'm canol na'm gwaradwyddo i. Ac wedi iddynt fyned i wared o Sepphoris i Asochis, pobl y lle hwnnw a wnaethant lef i'w herbyn, megis y gwnaethai y rhai o Japha.

Ar yr hyn ni allent gynnwys eu hunain yn hwy; ond a archasant i'r gwŷr arfog oedd gyd â hwynt i guro i lawr â'u cwylbrenni y rhai a waeddent i'w herbyn. Ac wedi eu dyfod i Gabara, Ioan a'u cyfarfu hywnt, gyd â thair mil o wŷr arfog. Ond fel y deallais wrth eu llythyr iddynt benderfynu ymladd â mi; cyfodais o Chabolo, gyd â thair mil o wŷr arfog hefyd; ond a adewais yn fy ngwersyll un o'm cyfeillion puraf, ac a ddaethum i Jotapata, gyd â dymuniad i fod yn agos attynt: fel nad oedd y pelldra rhyngom ychwaneg na deugain o 'stadau. O ba le mi ysgrifenais fel hyn:

"Os ydych yn ewyllysio i'm 'ddyfod attoch, chwi wyddoch fod dau cant a deugain o ddinasoedd a phentrefydd yn Galilea: deuaf i'r un a fynnoch o honynt, oddigerth Gabara a Gischala; un o ba rai yw dinas enedigol Ioan: a'r llall mewn cyngrair a chyfeillach âg ef."

Wedi i Jonathan a'i gymheiriaid dderbyn y llythyr hwn, ni ysgrifenasant i mi ychwaneg o attebion; ond a alwasant gyngor ynghyd o'u cyfeillion: a chan gymmeryd Ioan i'w cynghorfa, dyfeisiasant pa fodd y gallent fy ngorddiwes i. Ioan a dybiodd y dylent ysgrifenu at yr holl ddinasoedd a'r maesdrefi ynGalilea. Oblegid mai rhaid fod un neu ddau o bersonau ym mhob rhai o honynt ag oedd mewn ymrafael â mi: a bod iddynt gael gwahoddiad i ddyfod i'm gwrthwynebu i fel gelyn. Mynnai hefyd iddynt ddanfon y penderfyniad hwn i Jerusalem; fel y byddai i'w dinasyddion, wedi gwybod fy mod i yn cael fy marnu yn elyn gan y Galileaid, eu hunain hefyd gadarnhau y penderfyniad hwnnw. Dywedodd hefyd, mai pan wnelid hyn, y gadawid fi gan y Galileaid hynny oedd ag ewyllys da tu ag attaf, oblegid eu hofn. Wedi i Ioan draddodi iddynt y cyngor hwn, yr hyn a ddywedodd oedd dra chymmeradwy gan y rhai eraill o honynt. Cefais hefyd hyspysrwydd o hyn ynghylch y drydydd awr o'r nos, trwy un Saccheus, yr hwn a berthynodd iddynt, ond yn awr a'i gadawsant, ac a ddaethai trosodd attaf fi, ac a adroddodd yr hyn ag oeddynt yn ei gylch. Felly mi ganfyddais nad oedd dim amser i'w golli. Yn ganlynol, rhoddais orchymmyn i Jacob, gŵr arfog o'm gwarchawdlu, yr hwn yr oeddwn yn ei gyfrif yn ffyddlon i mi, i gymmeryd dau cant o wŷr arfog, i wylied y ffordd oedd yn arwain o Gabara i Galilea, ac i orddiwes y tramwywyr, a'u danfon attaf fi: yn enwedig y rhai a ddelid a llythyrau o'u hamgylch. Danfonais hefyd Jeremias, un o'm cyfeillion, gydâ chwe' chant o wŷr arfog i gyffiniau Galilea, mewn trefn i wylied y ffyrdd oedd yn arwain o'r wlad hon i Jerusalem: ac a roddais orchymmyn iddo i ymaflyd yn y cyfryw a deithient â llythyrau gydâ hwynt: a chadw'r dynion yn rhwym yn y lle hwnnw, ond i ddanfon i mi y llythyrau.

Wedi im' roddi y gorchymmynion hyn arnynt, perais iddynt gymmeryd eu harfau, a dwyn ymborth am dridiau gydâ hwynt, ac i ddyfod attaf y dydd nesaf. Rhenais hefyd y rhai oedd o'm hamgylch yn bedair rhan; gan osod y cyfryw rai ag oedd ffyddlonaf i mi yn warchawdlu fy nghorph. Gosodais hefyd arnynt ganwriaid: a pherais iddynt gymmeryd gofal nad ymgymmysgai un milwr anadnabyddus â hwynt. Yn awr, ar y pummed dydd ar ol hynny, pan oeddwn yn Gabaroth, mi a gefais yr holl wastadedd oedd o flaen y faes-dref yn llawn o wŷr arfog; y rhai a ddaethent o Galilea yn gynnorthwy i mi. Amryw eraill hefyd o wŷr y dref a ganlynasant gydâ mi. Ond cyn gynted ag y daethum i le sefydlog, a dechreu llefaru wrthynt, hwy oll a grechwenasant, gan fy ngalw yn gymmwynaswr ac achubydd eu gwlad. Ac wedi cydnabod fy rhwymedigaeth iddynt, a diolch am eu caredigrwydd tu ag attaf; annogais hwynt i beidio * ymladd â neb, nac anrheithio y wlad: ond iddynt osod i fynu eu pebyll yn y gwastadedd, a boddloni i'w cynhaliaeth a ddygasent gydâ hwynt. Canys mi ddywedais fod bwriad gennyf i lonyddu y blinderau hyn heb dywallt dim gwaed. Yn awr daeth o amgylch yr un dydd ddarfod i'r rhai a ddanfonasid â llythyrau oddi

* Cyfarwyddyd Josephus i'w filwyr yma sydd dra chyffelyb i'r hyn a roddodd Ioan Fedyddiwr, Luc iii. 14. "Na fyddwch draws wrth neb, ac na cham-achwynwch ar neb; a byddwch foddlon i'ch cyflogau." Oddiwrth yr hyn ymae Dr. Hudson yn cadarnhau ei ddychymmyg, fod Josephus mewn rhai pethau, yn awr, yn ddilynwr Ioan Fedyddiwr; yr hyn nid yw mewn un ffordd yn annhebygol.

wrth Ioan syrthio ymhlith y gwarchawdlu a apwyntiaswn i wylied y ffordd. Felly y dynion eu hunain a gedwid yn y lle hwnnw, fel yr ordeiniaswn i; ond myfi a gefais y llythyrau, y rhai oeddynt lawn o waradwyddiadau a chelwyddau; a myfi a fwriedais syrthio ar y dynion hynny heb yngenyd gair wrth neb am y materion hyn.

Yn awr, mor fuan ag y clywodd Jonathan a'i gymdeithion am fy nyfodiad, hwy a gymmerasant eu holl gyfeillion eu hunain, a Ioan gyd â hwynt, ac a giliasant i dŷ Jesus; yr hwn yn wir ydoedd gastell ehang, ac heb fod mewn un modd yn anhebyg i dŵr. Felly hwy yn ddirgel a osodasant lu o wŷr arfog ynddo, ac a gauasant yr holl ddrysau ond un, yr hwn a gadwasant yn agored: a hwy a ddisgwyliasant y deuwn i allan o'r brif ffordd attynt, i'w cyfarch hwynt. Ar yn wir hwy a roddasant orchymmyn i'r gwŷr arfog, pan y deuwn i, na ollyngent neb arall i mewn, ond bod iddynt gael eu gommedd. Gan feddwl, trwy'r moddion hyn, y caent fi yn hawdd tan eu hawdurdod. Ond hwy a siomwyd yn eu disgwyliad; canys mi a ddyallais pa ryw faglau a osodasent i mi. Yn awr cyn gynted ag y daethum o'm siwrnai, cymmerais i fynu fy lletty gyferbyn â hwynt; ac a ymddangosais fy mod yn fy nghwsg. Felly Jonathan a'i blaid, gan feddwl fy mod yn cysgu yn ddiau, ac yn gorphwys, a frysiodd i fyned i lawr i'r gwastadedd; i berswadio'r bobl mai llywodraethwr drwg oeddwn. Ond yr achos a brofodd yn amgen. Canys ar eu hymddangosiad gwnaethpwyd cri yn ebrwydd gan y Galileaid; i dystio eu tŷb dda o honof fi fel eu blaenor a'u llywodraethwr. A hwy a achwynasant yn erbyn Jonathan, a'i gymdeithion, am ddyfod attynt pryd na ddioddefent un math o niweid, fel pe buasent am ddadymchwelyd eu dedwyddol sefydliad; ac a ddymunasant arnynt, trwy bob moddion, fyned yn ol drachefn. Oblegid na pherswadid hwy byth i gymmeryd neb arall i lywodraethu arnynt ond myfi. Pan glywais hyn nid ofnais fyned i'w canol hwynt. Aethum, gan hynny i wared yn fuan, i glywed pa beth a ddywedai Jonathan a'i gymdeithion. Cyn gynted ag yr ymddangosais, crechwenodd yr holl liaws ar unwaith, a llefasant mewn cymmeradwyad o honof; gan addef fod eu diolchgarwch yn ddyledus i mi am fy llywodraeth ddaionus arnynt.

Wedi clywed o Jonathan a'i gymdeithion hyn, yr oeddynt yn ofni am eu bywydau eu hunain; ac mewn perygl rhag gwneud ymosodiad arnynt gan y Galileaid o'm hachos i. Felly hwy a ddyfeisient pa fodd y gallent ddiangc. Ond fel nas gallent fyned ymaith, (canys myfi a ddymunais arnynt aros,) edrychasant i lawr yn drist pan lefarais wrthynt. Perais, gan hynny, i'r lliaws attal eu crechweniadau; a sefydlais y rhai ffyddlonaf o'm gwŷr arfog ar y rhodfeydd, i fod yn warcheidwaid i ni, rhag syrthio o Ioan yn ddisymmwth arnom: ac mi annogais y Galileaid i gymmeryd eu harfau, rhag eu brawychu gan y gelynion, os gwnaed un ymosodiad disymmwth arnynt. Ac yna, yn y lle cyntaf, mi roddais Jonathan a'i gymdeithion mewn cof am eu llythyr blaenorol, ac ymha ddull yr ysgrifenasant attaf fi: a chyfaddef o honynt ddarfod eu danfon trwy gydsyniad cyffredin pobl Jerusalem, i wneud i fynu yr ymrafaelion oedd rhyngof fi a Ioan; ac fel y dymunasant arnaf ddyfod attynt. Ac fel yr oeddwn yn llefaru hyn, mi ddangosais y llythyr yn gyhoeddus, yr hwn y 'sgrifenasent; a'r llythyr ei hun yn eu hargyhoeddi hwynt. Ac yna mi ddywedais "O Jonathan, a chwi y rhai a ddanfonwyd gyd ag ef, fel cyd-genhadwyr: pe bawn yn barnu ymherthynas i'm hymddygiad, mewn cydmariaeth i'r eiddo Ioan, a dwyn gyd â mi ychwaneg na dau neu dri o dystion,* yn wŷr da ac uniawn; mae'n amlwg y gwnaethid i chwi, ar yr holiad am eu geirda ymlaen llaw, ryddhau y cyhuddiadau. Fel y byddo i chwi, gan hynny, gael eich gwneud yn hyspys ddarfod i mi weithredu yn gyfiawn yn achosion Galilea, yr wyf yr golygu tri o dystion yn rhy fychan i'w dwyn ymlaen gan un a wnaeth fel y dylasai wneuthur. Felly yr wyf yn rhoddi i chwi yr holl rai hyn yn dystion.† Ymofynwch â hwynt pa fodd y bûm fyw; ac onid ymddygais fy hun gyd â phob gweddeidd-dra,

* Yr ydym yn dysgu yma wybod ymarferiad yr Iuddewon yn nyddiau Josephus, yn ymholi ynghylch cywirdeb eu tystion cyn gwneud derbyniad o honynt; ac y dylai eu nifer fod yn ddau neu dri o leiaf; yn gymmwys yr un modd ag ynghyfraith Moses, a'r Gosodedigaethau Apost. II. 37.

† Yr apeliad yma at holl gorph y Galileaid, gan Josephus; a'r dystiolaeth a roddasant iddo am uniondeb ei ymddygiad, fel eu llywodraethwr, sydd dra thebyg i'r apeliad a'r dystiolaeth ymherthynas i'r prophwyd Samuel: 1 Sam. xii. 1,--5, ac ysgatfydd a wnaethpwyd gan Josephus mewn dilyniad o hono ef.

ac mewn modd rhinweddol yn eu mysg. Ac yr wyf ymhellach yn eich tynghedu chwi, O Galileaid, na chuddioch un rhan o'r gwirionedd; ond i lefaru o flaen y gwŷr hyn megis ger bron barnwyr; pa un a ddarfu i mi mewn un peth weithredu yn amgen nag mewn ffordd gyfiawn."

Tra'r oeddwn fel hyn yn llefaru, yr holl bobl a unasant ynghyd â'i lleisiau, ac a'm galwasant yn noddwr ac yn achubwr; gan ddwyn tystiolaeth i'm hymddygiad blaenorol: ac a'm hannogasant i barhau i wneud yr un modd ar ol hynny. A dywedasant ar eu llŵon, ddarfod i'w gwragedd gael eu cadw yn rhydd rhag niweid, ac na wnaethwn gam â neb. Ar ol hyn darllenais i'r Galileaid ddwy o'r epistolau a ddanfonasid i mi gan Jonathan, a'i gyd-gymheiriaid; a'r rhai a ddarfu i'r gwarchawdlu a osodaswn i wylio'r ffyrdd eu cymmeryd, a'u danfon i mi. Y rhai hyn oeddynt lawn o waradwyddiadau a chelwyddau: fel pe buaswn wedi ymddwyn yn fwy fel gorthrymwr, na llywodraethwr yn eu mysg: gyd â llawer o bethau eraill a gynhwysid ynddynt, y rhai nid oeddynt well yn wir na chableddau cywilyddus. Hyspysais hefyd i'r lliaws, y modd y daethum i gael y llythyrau: a darfod i'r rhai a'u dygent eu rhoddi i fynu yn ewyllysgar. Canys nid oeddwn yn ewyllysio i'm gelynion wybod dim am y gwarchawdlu a osodaswn, rhag iddynt arswydo, a gadael heibio ysgrifennu rhagllaw.

Wedi i'r lliaws glywed y pethau hyn, hwy a gythruddwyd yn fawr wrth Jonathan, a'r cenhadwyr oedd gyd ag ef; ac a oeddynt yn myned i'w goddiweddu a'u lladd hwynt. A hyn yn sicr a wnaethent, pe nad attaliaswn angerdd digofaint y Galileaid, a dywedyd fy mod yn madden i Jonathan, a'i gyd-genhadwyr yr hyn a aethai heibio, os edifarhaent, a myned i'w gwlad eu hunain; a dywedyd y gwir i'r rhai a'u danfonodd ymherthynas i'm hymarweddiad i. Ar ol i mi ddywedyd hyn mi adewais iddynt fyned ymaith; er y gwyddwn na wnaent ddim o'r peth a addawsent. Ond y lliaws ydoedd â chynddaredd mawr tu ag attynt; ac a ddeisyfiasant gennad gennyf i'w cospi hwynt am eu trahaustra. Etto mi arferais bob moddion gogyfer a'u perswadio i arbed y bobl. Canys mi wyddwn fod pob arwydd o ymrafael yn niweidiol i'r lles cyffredin. Ond yr oedd y lliaws yn rhy ddig wrthynt i gymmeryd eu perswadio: a phawb o honynt a aethant yn uniongyrch i'r tŷ lle'r oedd Jonathan a'i gyd-genhadwyr yn aros. Pa fodd bynnag, pan welais na ellid attal eu cynddaredd, mi gymmerais fy march, ac a orchymmynais i'r lliaws fy nghanlyn i faesdref Sogane, yr hon oedd ugain o 'stadau oddiwrth Gabara. Ac wrth arferyd y ddyfais hon, mi drefnais fy hun felly, fel nad ymddangoswn yn dechrau rhyfel cartrefol yn eu mysg.

Ond pan ddaethum yn agos i Sogane, mi orchymmynais i'r lliaws orphwys; ac a'u cynghorais i beidio bod yn hawdd ganddynt gymmeryd eu cyffroi i ddigofaint; ac i wneud y fath gospedigaethau a'r na's gellid eu galw yn ol. Gorchymmynais hefyd i gant o wŷr, y rhai ydoedd eisoes mewn oedran, ac oeddynt rai pennaf yn eu mysg, i wneud eu hunain yn barod i fyned i ddinas Jerusalem; a gwneuthur achwyniad o flaen y bobl, ar y cyfryw ag oedd yn cyfodi terfysgau yn y wlad. Ac mi ddywedais wrthynt, "Os cynhyrfir hwynt â'r hyn a ddywedoch, dymunwch ar y pennaethiaid ysgrifennu attaf fi, a'm gorchymmyn i barhau yn Galilea; a pheri i Jonathan a'i gydgenhadwyr i ymadael o honi." Wedi i mi draethu yr hyfforddiadau hyn, a thra yr oeddynt yn ceisio eu hunain yn barod, cyn gynted ag y medrent, danfonais hwynt ar y neges yma y trydydd dydd wedi eu dyfod ynghyd. Gosodais hefyd bum' cant o wŷr arfog i fyned gydâ hwynt, fel gwarchawdlu. Ar ol hyn, mi a ysgrifenais at fy nghyfeillion yn Samaria, ar ofalu o honynt am i'r gwŷr gael mynediad diangol trwy eu gwlad. Canys yr oedd Samaria eisoes tan y Rhufeiniaid; ac yr oedd yn anhepcor angenrheidiol i'r rhai a fynnent gyd â brys deithio i Jerusalem i fyned trwy'r wlad honno: oblegid wrth hynny gallent fyned mewn tridiau o Galilea i Jerusalem. Myfi a aethum hefyd fy hun yn arweinydd i'r gwŷr oedranus cyn belled a therfynau Galilea; ac a osodais warcheidwaid ar y ffyrdd, fel na's gwyddid yn hawdd gan neb ddanfon y gwŷr hynny ymaith. Ac wedi i mi wneuthur hyn, mi a aethum ac a arhosais yn Japha. Yn awr, Jonathan a'i gyd-genhadwyr, wedi methu cwblhau yr hyn a fynnasent yn fy erbyn, a ddanfonasant Ioan yn ol i Gischala; ond a aethant eu hunain i'r ddinas Tiberias,

gan ddisgwyl yr ymostyngai iddynt. A'u sail am hyn ydoedd oddiwrth lythyr a ysgrifenasai Jesus eu llywodraethwr attynt: yn addaw os deuent yno, y derbynid hwy gan y lliaws, ac y cydsynient i fod tan eu llywodraeth. Felly, hwy a aethant i'w fford gyd â'r disgwyliad hwn. Ond Silas, megis y crybwyllais, yr hwn a adawsid yn olygwr ar Tiberias gennyf fi, a'm gwnaeth yn hyspys o hyn, gan ddymuned arnaf wneuthur brys i ddyfod yno. Yn ganlynol, mi gydsyniais â'i gyngor; ond cefais fy hun mewn perygl am fy mywyd oddiwrth yr achlysur canlynol. Jonathan, a'i gydgenhadon, a fuasent yn Tiberias, ac a berswadiasant lawer oedd yn ymrafaelgar â mi i'm gadael. Ond pan glywsant fy mod yn dyfod yno, yr oeddynt mewn dychryn am danynt eu hunain, ac a ddaethant attaf fi: ac wedi iddynt fy nghyfarch, dywedasant fy mod yn ddyn dedwydd, am ymddwyn mor dda yn llywodraethiad Galilea: a'u bod yn cyd-lawenychu am yr anrhydedd a delid i mi. Canys dywedasant fod fy nghlod yn dwyn parch iddynt hwy fel dysgawdwyr i mi gynt, a chyd-ddinasyddion: a dywedasant ymhellach, nad oedd ond cyfiawn iddynt ddewis fy nghyfeillach i â hwynt, yn hytrach na Ioan: ac y buasent hwy yn uniongyrch yn myned adref, ond iddynt aros i draddodi Ioan i fynu i'm hawdurdod i. A phan ddywedasant hyn, gwnaethant eu llwon arno; a'r rhai hynny yn gyfryw ag oedd fwyaf arswydus yn ein mysg ni, ac yn fath na thybiais yn gymmwys eu hanghredu. Pa fodd bynnag, hwy a ddymunasant arnaf llettŷa yn rhyw le arall; o herwydd mai'r dydd nesaf oedd y Sabboth; ac nad oedd gymmwys i aflonyddu dinas Tiberias ar y dydd hwnnw.

Felly ni ddrwgdybiais ddim, ac a aethum ymaith i Tarichæ: etto mi adewais rai i wneuthur ymofyniad yn y ddinas pa fodd y byddai pethau yn myned ym mlaen, ac a fyddai un peth yn cael ei ddywedyd am danaf fi. Gosodais hefyd amryw wŷr ar yr holl ffordd oedd yn arwain o Tarichæ i Tiberias, fel y gallent hyspysu y naill i'r llall os clywent ddim newyddion oddiwrth y rhai a adawsid i ymwrando yn y ddinas. Ar y dydd nesaf, gan hynny, hwy oll a ddaethant i'r * Proseucha. Adeilad helaeth ydoedd; ac yn gyfleus i gynnwys nifer mawr o bobl. Yno'r aeth Jonathan i mewn: ac er na feiddiai yn gyhoeddus grybwyll am wrthdröad gwladwriaethol; etto dywedodd fod yn angenrheidiol i'r ddinas wrth lywodraethwr gwell nag oedd ganddi y pryd hynny. Ond Jesus, yr hwn oedd y llywydd, ni rusodd lefaru allan: ac a ddywedodd ar gyhoedd, "O fy nghydddinasyddion! mae'n well i chwi fod mewn ymostyngiad i bedwar, nag i un: a'r rhai hynny yn gyfryw ag sydd o uchel waedoliaeth; ac nid heb barch iddynt oblegid eu doethineb;" gan gyfeirio at Jonathan a'i gyd-gennadon. Wrth iddo ddywedyd hyn, Justus a ddaeth i mewn, ac a'i canmolodd am yr hyn a ddywedodd; gan berswadio rhai o'r bobl i fod o'i feddyliau ef: ond ni foddlonwyd y lliaws â'r hyn a ddywedwyd, ac a aethent yn sicr i derfysg, pe na buasai i'r chweched awr, oedd wedi dyfod o amgylch, wahanu y dyrfa: ar ba awr ein cyfraith a ofyn i ni giniawa ar y dyddiau Sabboth. Felly Jonathan, a'i gyd-gennadwyr, a ddodasant heibio y cyngor hyd y dydd nesaf, ac a aethant ymaith heb lwyddo. Wedi fy hyspysu o'r pethau hyn, mi benderfynais i fyned i ddinas Tiberias yn y boreu. Yn ganlynol, ynghylch yr awr gyntaf o'r dydd hwnnw, mi ddaethum allan o Tarichæ, ac a gefais y lliaws wedi ymgynnull yn barod yn y Proseucha: ond ar ba gyfrif y daethant ynghyd ni's gwyddai yr ymgynnullwyr. Ond wedi i Jonathan a'i gyd-gennadwyr fy ngweled i yno yn annisgwyliadwy, yr oeddynt yn derfysglyd. Ar ol yr hyn y codasant chwedl o'u dyfais eu hunain, ddarfod gweled gwŷr meirch o Rufeiniaid mewn lle a elwid Undeb, ar derfynau Galilea, yn ddeg cufydd ar hugain o bellder oddiwrth y ddinas. Ar ba ryw hanes, Jonathan a'i gyd-gennadon, yn ddichellgar a'm cyngorasant i beidio esgeuluso yr achos hwn, na goddef y wlad i gael ei hanrheithio gan y gelyn. A hyn a ddywedasant gyd âg amcan i beri im' fyned allan o'r ddinas, tan yr esgus o fod eisiau cynnorthwy rhagorol: tra byddent hwy yn perswadio'r ddinas i fod yn elyniaethol i mi.

Am danaf fy hun, er y gwyddwn am eu ham-

* Mae'n werth sylwi yma, fod yn awr Proseucha, neu le o weddio yn ninas Tiberias: er yr arferai y fath Proseucha fod allan o'r dinasoedd, a'r Synagogau o'u mewn. Y mae hefyd yn deilwng o'n sulw, fod yr Iuddewon yn nyddiau Josephus, yn arferol o giniawa ar y chweched awr, ganol dydd; a hynny mewn ufudd-dod i'w dychymmygion am gyfraith Moses.

canion, etto mi gydsyniais â'r hyn i'm hannogent iddo; rhag i bobl Tiberias gael achlysur i feddwl fy mod heb ofalu am eu diogelwch. Myfi, gan hynny, a aethum allan: ond wedi dyfod i'r lle, ni chefais yr ymddangosiad lleiaf o un gelyn. Felly mi ddychwelais mor fuan ag y gellais, ac a gefais yr holl gyngor wedi ymgynnull, a chorph y bobl wedi dyfod ynghyd, a Jonathan a'i gyd-gennadwyr yn gosod cyhuddiadau chwerwon yn fy erbyn; fel un ag oedd heb ddim gofal i'w hesmwythau oddiwrth feichiau rhyfel, ac un ag ydoedd yn byw yn loddestgar. Ac fel yr oeddynt yn ymddiddan y modd hwn, dygasant allan bedwar o lythyrau, megis wedi eu hysgrifenu attynt oddiwrth ryw bobl, ag oedd yn byw ar gyffiniau Galilea, yn erfyn arnynt eu cynnorthwyo: oblegid fod byddin o Rufeiniaid, yn wŷr meirch a gwŷr traed, y rhai a ddeuent i ddifrodi y wlad ar y trydydd dydd. Dymunasant iddynt hefyd i wneuthur brys, a pheidio a'u hesgeuluso hwynt. Wedi i bobl Tiberias glywed hyn, hwy a dybiasant eu bod yn llefaru gwirionedd; ac a achwynasant yn fy erbyn i, ac a ddywedasant na ddylwn eistedd yn llonydd; ond i fyned ymaith yn gynnorthwy i'w gydwladwyr. Ar hyn myfi a ddywedais, (canys mi ddeallais feddwl Jonathan, a'i gymdeithion) fy mod yn barod i gydsynio â'r hyn a ddarluniasent, ac, yn ddioed i fyned ymaith i'r rhyfel a soniasant am dano. Etto fy mod i yn eu cynghori ar yr un pryd, mai fel yr oedd y llythyrau hynny yn datgan fod y Rhufeiniaid am wneud ymosodiad ar bedwar o fannau, y dylent ddosparthu eu byddinoedd i bump o rannau; a gosod Jonathan a'i gyd-genhadon yn gad flaenoriaid ar bob llu neu gorph o honynt. O herwydd fod yn gymmwys i wŷr dewrwych, nid yn unig i roddi cyngor, ond i gymmeryd lle blaenoriaid, a chynnorthwyo eu cydwladwyr, pan oedd y fath angenrheidrwydd yn gwasgu arnynt. "Canys," ebe fi, "nid yw bossibl i mi fod yn arweinydd i fwy nag un blaid." Y cynghor hwn o'r eiddof a foddlonodd y lliaws yn fawr. Felly hwy a'u cymmellasant i fyned allan i ryfel. Ond eu hamcanion a fwriwyd mewn anhrefn, o herwydd na allasent wneuthur yr hyn a amcanasant, ar gyfrif yr annogaeth a draddodaswn o flaen y cynghor, pa un oedd wrthwyneb i'r swyddau a gymmerasant arnynt.

Yn awr, yr ydoedd un a'i enw Ananias, yn ddyn annuwiol, a thra dyfeisddrwg: *cynhygiodd efe fod i ympryd cyffredin gael ei apwyntio y dydd nesaf i'r holl bobl: gan orchymmyn iddynt ar yr un awr ddyfod i'r un lle, heb arfau gydâ hwynt; i wneud yn amlwg ger bron Duw, mai tra y derbynient gymmorth oddiwrtho ef, eu bod yn cyfrif yr arfau hynny yn ddiddefnydd. Hyn a ddywedodd, nid o ran ei dduwioldeb, ond fel y dalient fi a'm cyfeillion yn anarfog. Yn awr, yr oeddwn â hyn yn gorfod cydsynio, rhag ymddangos o honwyf yn dirmygu annogaethiad perthynol i grefydd. Mor gynted, gan hynny, ag yr aethom adref, Jonathan a'i gydgymdeithion a ysgrifenasant at Ioan, i ddyfod o hono attynt yn y boreu; a dymuned arno ddwyn gyd âg ef gymaint o filwyr ag oedd bosibl iddo: oblegid y gallent y pryd hynny yn hawdd fy nghael i i'w dwylaw, a gwneud yr hyn oll a ddymunent. Pan dderbyniodd Ioan y llythyr hwn, fe ymrodd i wneud fel y crybwyllai. Am danaf fy hun, ar y dydd nesaf, gorchymmynais i ddau o warcheidwaid fy nghorph, y rhai a gyfrifais o fwyaf gwrolder, ac yn ffyddlonaf i mi, i osod cleddyfau yn guddiedig tan eu gwisgoedd, a myned gyd â mi: fel y gallem amddiffyn ein hunain, os gwnaed dim ymosodiad arnom gan ein gelynion. Mi gymmerais hefyd fy nwyfroneg, ac a wisgais fy nghleddyf yn y fath fodd, ag y byddai mor bell ag oedd bosibl yn guddiedig; ac a ddaethum i'r Proseucha.

Yn awr Jesus, yr hwn oedd y llywodraethwr, a orchymmynodd gau allan bawb a ddaethai gyd â mi: canys efe a gadwodd y drws ei hun, ac ni adawodd i neb ond ei gyfeillion i fyned i mewn. A thra'r oeddym ni yn rhwym yn nyledswyddau'r dydd, ac a aethem ymaith i weddi, Jesus a gododd i fynu, ac a wnaeth ymholiad â mi, pa beth a ddaethai o'r dodrefn a gymmerasid o balas y brenin pan y llosgwyd i lawr; a'r arian ag oedd heb eu bathu, ym meddiant pwy yn awr yr oeddynt? Hyn a ddywedodd mewn trefn i fwrw amser heibio hyd

* Gall un sylwi yma, y modd y darfu i'r llŷg Pharisead hwn, Ananias, gymmeryd arno apwyntio ympryd yn Tiberias, ac ufuddhau iddo. Er, yn wir, mai nid o grefydd y gwnaeth hynny, ond o anonest gyfrwysdra.

oni ddeuai Ioan. Dywedais mai gan Capellus, a deg o wŷr pennaf Tiberias yr oeddynt oll; a dywedais, y gallent ofyn iddynt hwy pa un a oeddwn yn dywedyd anwir ai nad oeddwn. Ac wedi iddynt ddywedyd eu bod ganddynt, fe ofynodd i mi, beth a ddaethai o'r ugain darn aur a dderbyniaswn oddiwrth werthiad pwys pennodol yr arian anfathedig? Attebais, roddi o honof hwynt i'r cennadwyr hynny o'r eiddynt, fel cynnaliaeth iddynt pan ddanfonid hwy ganddynt i Jerusalem. Felly Jonathan a'i gyd-gennadon a ddywedasant, na wnaethum yn dda dalu i'r cennadwyr allan o arian y llywodraeth. Ac â'r lliaws yn dra digllon wrthynt am hyn, canys hwy a ganfuant ddrygioni'r dynion: deallais fod terfysg yn myned i'w gyfodi: a chan ddymuno cynhyrfu'r bobl i ychwaneg o gynddaredd yn erbyn y dynion, mi ddywedais, "Os na wnaethum yn dda wrth dalu i'r cenhadwyr allan o'r trysor cyffredin, gadewch heibio eich digter tu ag attaf; canys mi a ad-dalaf yr ugain darn aur fy hun."

Pan ddywedais hyn, Jonathan a'i gymdeithion a dawsant â sôn: ond y bobl a gythruddwyd yn fwy fyth i'w herbyn, ar eu gwaith yn dangos yn amlwg eu drwg-ewyllys anghyfiawn tu ag attaf fi. Pan ganfu Jesus y cyfnewidiad hwn yn y bobl, fe orchymynodd iddynt ymadael: oblegid na allent wneuthur profiad o bethau o'r fath natur mewn cythrwfl. Ac fel yr oedd y bobl yn llefain allan na adawent fi yno fy hun; daeth un ag a ddywedodd wrth Jesus a'i gyfeillion, yn ddirgel, fod Ioan a'i wŷr arfog gerllaw. Ar yr hyn Jonathan a'i gymdeithion, heb allu ymattal eu hunain yn hwy; (ac ysgatfydd fod rhagluniaeth Duw wrth hyn yn trefnu gwaredigaeth i mi; canys pe na buasai felly, difethasid fi yn sicr gan Ioan;) a ddywedodd, "O chwychwi bobl Tiberias; gadewch heibio yr ymofyniad hwn ynghylch yr ugain darn o aur. Canys ni haeddodd Josephus farw o'u plegid. Ond fe haeddodd hynny trwy ei ddymuniad o orthrymmu, a thrwy dwyllo lliaws y Galileaid â'i areithiau, mewn trefn i gael yr arglwyddiaeth arnynt." Wedi iddo ddywedyd hyn, hwy yn ebrwydd a osodasant ddwylaw arnaf, gyd ag ymgais i'm lladd. Ond cyn gynted ag y darfu i'r rhai oedd gyd â mi weled yr hyn a wnaethant, hwy a dynnasant eu cleddyfau allan, ac a fwgwthiasant eu taraw â hwynt, os cynhygient i mi ddim niweid. Y bobl hefyd a gymmerasant gerrig i fynu, ac oeddynt yn myned i'w hergydio at Jonathan: ac felly hwy a'm gwaredasant i oddiwrth drais fy ngelynion.

Ond wedi i mi fyned allan ychydig o ffordd, yr oeddwn agos a chyfarfod â Ioan, yr hwn oedd yn dyfod ym mlaen gyd â'i wŷr arfog. Felly'r oeddwn yn ofnus o hono; ac a dröais o'r neilldu, gan fyned ar hyd dramwyfa gûl hyd at y llynn; ym mha le y cefais long, ar fwrdd pa un yr aethum, ac a hwyliasom trosodd i Tarichæ. Felly, tu hwnt i'm disgwyliad, mi ddiangais oddi ar y perygl hwn. Ar yr hyn y danfonais yn ddioed am bennaethiaid y Galileaid, ac a ddywedais ym mha ddull, yn wrthwyneb i bob cred a roddid, y bûm i yn dra agos i ddinystr oddiwrth Jonathan a'i gymheiriaid, a phobl Tiberias. Ar hyn yr oedd lliaws y Galileaid yn dra digllon, ac a'm hannogasant i beidio oedi yn hwy i wneud rhyfel arnynt; ond i ganiattau iddynt fyned yn erbyn Ioan, ac i'w lwyr ddifetha ef, yn gystal â Jonathan a'i gymheiriaid. Pa fodd bynnag, mi a'u hatteliais, er eu bod yn y fath wylltineb; ac a ddymunais arnynt aros ychydig, nes hyspysu i mi pa orchymynion a ddygid o Jerusalem, gan y rhai a ddanfonasent yno yn genhadwyr; canys mi ddywedais mai goreu oedd iddynt wneuthur yn ol eu penderfyniad hwynt. Ar hyn hwy a berswadiwyd. Ar ba amser Ioan hefyd, pan na ddarfu i'r maglau a barottodd gymmeryd lle, a ddychwelodd i Gischala.

Yn awr, ym mhen ychydig ddyddiau, y cennadwyr hynny a ddanfonasem a ddaethant yn ol drachefn; ac a hyspysasant i mi, ddarfod i'r bobl gythruddo yn fawr wrth Ananus, a Simon mab Gamaliel, a'u cyd-gyfeillion; am ddarfod iddynt, heb gydsyniad cyhoeddus, ddanfon i Galilea, a gwneud eu hegni a'r i mi gael fy nhroi allan o'r llywodraeth. Y cennadwyr a ddywedasant ymhellach, fod y bobl yn barod i losgi eu tŷau hwynt. Dygasant hefyd lythyrau, ym mha rai yr oedd pennaethiaid Jerusalem, ar daer ddeisyfiad y bobl, yn fy nghadarnhau i yn llywodraeth Galilea; ac yn gorchymmyn Jonathan a'i gyd-gennadon i ddychwelyd adref yn fuan. Gwedi i mi gael y llythyrau hyn, mi ddaethum i'r faesdref Arbela, lle y perais i dyrfa

o'r Galileaid gydgyfarfod, a'r cennadwyr i draethu iddynt am anfoddlonrwydd pobl Jerusalem at yr hyn a wnaethid gan Jonathan a'i gymdeithion, a pha gymmaint yr oeddynt yn casâu eu gweithredoedd annuwiol; a'r modd yr oeddynt wedi fy nghadarnhau i yn llywodraeth eu gwlad: megis hefyd yr hyn a berthynai i'r gorchymmyn oedd ganddynt yn ysgrifenedig, i Jonathan a'i gyd-gennadwyr i ddychwelyd adref. Felly yn uniongyrch mi ddanfonais iddynt y llythyr, ac a berais i'r hwn a'i dygai iddynt ymwrando mor fanwl ag a fedrai, pa fodd y byddent yn meddwl gwneuthur ar yr achos presennol.

Yn awr, wedi derbyn o honynt y llythyr hwnnw, a'u terfysgu yn fawr o'i blegid, hwy a ddanfonasant am Ioan, ac am seneddwyr Tiberias, a'r gwŷr pennaf o'r Gabareniaid, gan eu perswadio i alw cyngor; ac a ddymunasant iddynt ystyried pa beth a wnaed ganddynt. Pa fodd bynnag, yr oedd llywodraethwyr Tiberias yn tueddu yn fawr i gadw y llywodraeth yn eu meddiant eu hunain: canys hwy a ddywedasant nad oedd gymmwys iddynt adael eu dinas, wedi yn awr ei hymddiried iddynt hwy; ac os amgen, na oedwn i ddyfod i'w goresgyn hwynt. Canys gwnaethant esgus gau, mai felly y bygwthiaswn wneuthur. Yn awr, Ioan ydoedd nid yn unig o'r un dŷb â hwynt, ond fe gynghorodd fod i ddau o honynt fyned i'm cyhuddo i o flaen y lliaws yn Jerusalem, nad oeddwn yn iawn drefnu materion Galilea fel y dylaswn wneuthur: ac y byddai hawdd iddynt hwy berswadio y bobl o herwydd eu pendefigaeth, ac o herwydd fod yr holl liaws yn dra chyfnewidiol. Gan hynny, wedi ymddangos ddarfod i Ioan draddodi y cyngor doethaf iddynt, penderfynasant fod i ddau o honynt, Jonathan ac Ananias, fyned at bobl Jerusalem: a bod i'r *ddau eraill aros ar ol, a thrigo yn Tiberias. Cymmerasant hefyd gyd á hwynt gant o filwyr yn warchawdlu.

Pa fodd bynnag, llywodraethwyr Tiberias a gymmerasant ofal i fynnu eu dinasoedd wedi eu diogelu â muriau; gan orchymmyn i'r trigolion fyned tan arfau. Hwy a ddanfonasant hefyd am nifer mawr o filwyr oddiwrth Ioan, i'w cynnorthwyo yn fy erbyn i, os byddai achos am danynt. Yn awr yr oedd Ioan yn Gischala. Jonathan, gan hynny, a'r rhai oedd gyd âg ef, wedi eu myned ymaith o Tiberias, a chyn gynted ag y daethant i Dabaritta, maesdref ag ydoedd yn gorwedd ym mharthau eithaf Galilea, yn y gwastadedd mawr, hwy a syrthiasant ynghylch hanner nos ym mysg y gwarchawdlu a osodaswn i wylio yno. Y rhai a orchymmynodd iddynt roddi eu harfau o'r neilldu, ac a'u cadwasant mewn rhwymau yn y lle hwnnw, fel y peraswn iddynt wneuthur. Y newyddion hyn a ysgrifenwyd attaf gan Lefi, yr hwn oedd a blaenoriaeth y gwarchawdlu wedi ei roddi iddo gennyf fi. Am hyn ni yynganais ddim tros ddeuddydd; a chan gymmeryd arnaf na's gwyddwn ddim am hyn, danfonais gennad at bobl Tiberias; ac a'u cynghorais i osod eu harfau heibio, ac i ollwng ymaith eu gwŷr, fel yr elent i'w cartrefi. Ond trwy dybied fod Jonathan, a'r rhai oedd gyd ag ef, wedi cyrraedd erbyn hyn i Jerusalem, hwy a wnaethant attebion cableddus i mi: etto ni'm dychrynwyd wrth hynny, ond a ddyfeisiais gyfrwysedd arall i'w herbyn hwynt. Canys nid oeddwn yn ei farnu yn gyttunol â duwioldeb i ennyn tân rhyfel ym mysg y dinasyddion.

Megis yr oeddwn yn ewyllysio tynnu y dynion ymaith o Tiberias, mi ddewisais allan ddeng mil o'r rhai goreu o'm gwŷr arfog, ac a'u rhenais yn dri o finteioedd; gan eu gorchymmyn i fyned yn ddirgel, a gorwedd yn llonydd fel cynllwynwyr yn y pentrefydd. Tywysais hefyd fil i faesdref arall, yr hon oedd yn gorwedd yn y mynyddoedd, megis yr oedd y lleill, ond yn unig yn bedair ystad o bellder o Tiberias: ac a orchymynais, pan welent arwydd oddiwrthyf fi, ddyfod o honynt i wared yn ddioed; tra yr oeddwn fy hun gyd â'm milwyr, yn gorwedd yn amlwg i bawb. Ar hyn pobl Tiberias wrth yr olwg arnaf, a ddaethant ar eu rhedeg allan yn olynol o'r ddinas, gan fy amharchu yn fawr. Ië, yr oedd eu cynddeiriogrwydd wedi tyfu i'r fath uwchder, fel y lluniasant elor i mi; a chan sefyll o'i ddeutu, hwy a alarasant trosof, mewn ffordd o wawd a chellwair. Ac ni fedrwn fy hun amgen na bod mewn tymmer ddifir, ar yr olwg yma o'u cynddaredd a'u dirystyrwch hwynt.

Ac yn awr, a chennyf ddymuniad i ddala Simon trwy gyfrwysdra, a Joazar gyd âg ef, dan-

* Simon a Joazar.

fonais neges attynt, ac a ddymunais arnynt ddyfod ychydig ffordd o'r ddinas, gydâ llawer o'u cyfeillion yn warchawdlu iddynt. Canys dywedais y deuwn i lawr attynt i wneud cyngrair, ac y rhanwn lywodraeth Galilea â hwynt. Yn ganlynol, Simon a hudwyd, o herwydd ei anghallineb, ac oddi ar obaith o elw; ac ni oedodd ddyfod: ond Joazar yn drwg-dybio fod maglau yn cael eu gosod iddo, a safodd ar ol. Felly, wedi dyfod Simon allan, a'i gyfeillion yn warcheidwaid gyd âg ef, myfi a'i cyfarfum, ac a'i cyferchais gydâ mwyneidd-dra mawr; ac a addefais fy mod yn dra rhwymedig iddo am ddyfod i fynu attaf. Ond ychydig ar ol hynny mi gyd-rodiais âg ef ym mlaen, megis pe buaswn am ddywedyd rhyw beth wrtho ar ei ben ei hun: ac wedi ei dynnu encyd o ffordd oddi wrth ei gyfeillion, mi ymaflais am ei ganol, ac a'i rhoddais i'm cyfeillion oedd gydâ mi, i'w gymmeryd ymaith i'r faesdref; a chan roddi arwydd i'm gwŷr arfog i ddyfod i lawr, myfi, gydâ hwynt a ymosodasom ar Tiberias. Yn awr, fel yr oedd yr ymladdfa yn tyfu yn wresog ar bob ochr, a'r milwyr perthynol i Tiberias mewn ffordd deg i'm gorchfygu; (oblegid fy ngwŷr arfog a aethent ymaith;) mi ganfyddais agwedd fy achosion; a chan gefnogi y rhai oedd gydâ mi, erlidiais wŷr Tiberias, ïe, wedi eisoes ddyfod yn orchfygwyr i mewn i'r ddinas. Danfonais hefyd lu arall o filwyr i'r ddinas oddiwrth y llyn; gan roddi gorchymmyn i osod ar dân y tŷ cyntaf a oresgynent. Pan wnaethpwyd hyn, pobl Tiberias a feddyliasant fod eu dinas wedi ei chymmeryd trwy drais; ac felly hwy a roddasant i lawr eu harfau gan ofn; a hwy, ynghyd a'u gwragedd a'u plant, a ddeisyfasant arnaf arbed y ddinas. Felly fe'm gorchfygwyd gan eu herfyniau; ac attaliais y milwyr oddi wrth y tanbeidrwydd â'r hwn yr oeddynt yn eu herlid hwynt. Pan y darfu i mi fy hun, ar ddyfodiad yr hŵyr ymlaen, ddychwelyd yn ol gyd â'm milwyr i gymmeryd gorphwysfa. Myfi hefyd a wahoddais Simon i swppera gydâ mi, ac a'i cysurais ymherthynas i'r hyn a ddigwyddasai: gan addaw ei anfon yn ddiangol i Jerusalem, a rhoddi iddo, gyd â'r cwbl, gynhaliaeth ar ei daith yno.

Ond ar y dydd nesaf, dygais gydâ mi ddeng mil o wŷr, ac a ddaethum i Tiberias. Yna, danfonais am bennaethiaid y lliaws i'r farchnadfa, ac a archais iddynt ddywedyd, pwy yn eu mysg ydoedd awdwyr y gwrthryfel? ac wedi iddynt fynegi pa rai oeddynt, danfonais hwynt yn rhwym i ddinas Jotapata. Ond am Jonathan ac Ananias, mi a'u rhyddheais hwynt o'u rhwymau, ac a roddais iddynt fodd i'w cynnal eu hunain ar eu taith; ynghyd â Simon a Joazar; a phum' cant o wŷr arfog yn warchawdlu: ac felly y daethant i Jerusalem. Pobl Tiberias hefyd a ddaethant trosodd attaf drachefn, ac a ddeisyfasant arnaf fadden yr hyn a wnaethent: a dywedasant y diwygient y peth a wnaethent ar gam tu ag attaf fi, trwy eu ffyddlondeb i mi tros yr amser i ddyfod: a hwy a ddeisyfasant arnaf gadw yr hyn oedd yn weddill o'r yspail a gymmerasid y'ngoresgyniad y ddinas, i'r rhai oedd golledwyr. Yn ganlynol, mi erchais i gynnifer ag oedd a'r eiddo ganddynt, eu dwyn yno i gyd o'n blaen. A phan na chydsynient tros gryn amser, a gweled o honof un o'r milwŷr oedd o'm cwmpas a gwisg am dano ag oedd yn wychach na chyffredin, mi ofynais iddo, pa le y cafodd hi? A phan attebodd iddo ei chael allan o yspail y ddinas, perais ei gospi ef â gwialenodiau: ac mi fygythiais y lleill i gyd â chospedigaeth llymmach, os na ddygent i'r amlwg pa beth bynnag a anrheithiasent. Ac wedi i lawer o'r yspail gael ei ddwyn ynghyd, mi adferais i bob un yn Tiberias y peth a gleimient yn eiddo eu hunain.

Ac yn awr, wedi dyfod at y rhan yma o'm hanes, yr wyf yn cael fy nhueddu i ddywedyd ychydig bethau wrth Justus; yr hwn ei hun a ysgrifenodd hanesiad perthynol i'r achosion hyn; megis hefyd wrth eraill, y rhai a broffesant eu hunain yn ysgrifenwyr hanesion, ond sydd ag ychydig ofal ganddynt am y gwir; ac ni arswydant, oddi ar ewyllys drwg neu dda at rai personau, adrodd gau-bethau. Y dynion hyn ydynt yn gwneuthur yn debyg i'r rhai a luniant gau-weithredoedd a throsglwyddiad o eiddo: ac am na's dygir i gyffelyb gosp â hwynt, nid oes ofal ganddynt am y gwir.

Gan hynny, pan gymmerodd Justus arno ysgrifennu ynghylch y gweithredoedd hyn, ac am y rhyfel Iuddewig, fel yr ymddangosai yn ddyn llafurus; fe wnaeth ffug o'r hyn oedd ganddo i adrodd yn fy nghylch i; ac ni fedrai ddywedyd

gwirionedd, hyd yn oed ymherthynas i'w wlad ei hun. Oddi yma y mae, trwy fy nghyfrif yn gelwyddog ganddo ef, fy mod tan angenrheidrwydd i wneuthur fy amddiffyniad; ac felly mi gaf ddywedyd yr hyn a gedwais yn ysgrifenedig hyd yn awr. Ac na ryfedded neb na ddywedais ers hir amser y pethau hyn i'r byd. Canys er bod yn angenrhaid i hanesydd ysgrifenu y gwir, etto nid yw y cyfryw un yn rhwym i sylwi yn llym ar anfadrwydd rhyw ddynion neillduol: nid o ran ffafr iddynt, ond ar gyfrif cymmedroldeb awdwr ei hun. "Pa fodd gan hynny y daeth o amgylch, O Justus, tydi y synwyrolaf o ysgrifenwyr, (fel y gallwyf lefaru wrtho megis pe byddai yn bresennol,) canys felly yr wyt yn dy alw dy hun; ddarfod i mi a'r Galileaid fod yn awdwyr yr ymryson ag y mae dy wlad yn rhwym tano, yn gystal yn erbyn y Rhufeiniaid ag yn erbyn y brenin?* Canys cyn fy apwyntio i yn llywodraethwrGalilea gan benaethiaid Jerusalem, tydi a holl Tiberias, nid yn unig a gymmerasoch i fynu eich arfau, ond a wnaethoch ryfel â Decapolis yn Syria. Yn ganlynol ti orchymmynaist i'r pentrefi gael eu llosgi, a gwasanaeth-ddyn o'th deulu a syrthiodd yn y frwydr. Ac nid myfi yn unig a ddywed hyn, ond felly yr ysgrifennwyd yn sylwiadau Vespasian yr ymerawdwr. Megis hefyd y daeth trigolion Decapolis ag achwyniad at Vespasian, yn Ptolemais; ac a ddymunasant fod i ti, yr hwn oedd awdwr y rhyfel hwnnw, gael dy ddwyn i gospedigaeth. A thi yn sicr a gospasid wrth orchymmyn Vespasian, pe na buasai i'r brenin Agrippa, yr hwn oedd ag awdurdod ganddo i'th roddi i farwolaeth, ar daer ddeisyfiad dy chwaer Bernice, gyfnewid y gosp o farwolaeth i hir garchariad. Dy weinyddiad cyfrwysgall o achosion cyhoeddus ar ol hynny hefyd a ddatguddiodd yn eglur dy ymddygiad mewn bywyd, a'th fod yn achos o encil dy wlad oddi wrth y Rhufeiniaid: arwyddion amlwg o hyn a ddangosaf ar fyrder. Mae dymuniad hefyd gennyf i ddywedyd ychydig wrth eraill o bobl Tiberias ar dy gyfrif di: ac i dystio i'r rhai a ddarllenant yr hanes hon, nad oeddych yn dwyn dim ewyllys da i'r Rhufeiniaid, nac i'r brenin. Mae yn sicr mai dinasoedd mwyaf Galilea, O Justus, oedd Sepphoris, a'th wlad dy hun, Tiberias. Ond Sepphoris, yr hon yr oedd ei sefyllfa ynghanol Galilea, a chanddi amryw faesdrefi o'i hamgylch; ac yn alluog, gyd â hawsdra, i ymhyfhau, ac i fod yn flinder i'r Rhufeiniaid, pe gwelsent hynny yn oreu: etto hi benderfynodd aros yn ffyddlon i'w meistriaid hynny, ac ar yr un pryd a'm cauasant i allan o'r ddinas; ac a waharddasant yr holl ddinasyddion i uno â'r Iuddewon yn y rhyfel. Ac fel y byddent allan o berygl oddi wrthyf fi, hwynthwy, trwy gyfrwysdra, a gawsant fy nghennad i amddiffyn eu dinas â chaerau. Hwy hefyd o honynt eu hunain, a wnaethant dderbyniad o wersyll Rhufeinig yn llengau, wedi eu danfon iddynt gan Cestius Gallus, yr hwn oedd y pryd hynny yn rhaglaw Syria: ac felly cyfrifasant fi yn ddirmygus: er fy mod y pryd hynny yn dra galluog, a phawb yn fy ofni yn fawr. Ac ar yr un amser ag y gwarchaewyd ar ein dinas bennaf Jerusalem, a'r deml honno o'r eiddom, pa un a berthynai i ni oll, mewn perygl o syrthio tan awdurdod ein gelynion, ni ddanfonasant yno ddim cynnorthwy; megis heb ewyllysio peri meddwl y cyfodent hwy arfau yn erbyn y Rhufeiniaid. Ond am dy wlad di, O Justus! a'i sefyllfa ar lynn Genesareth, yn ddeg ar hugain o 'stadau oddiwrth Hippos; yn drugain o Gadara: ac o Scythopolis, pa un oedd tan awdurdod y brenin, yn ugain a chant; pan nad oedd un ddinas Iuddewig yn agos iddi, gallasai yn hawdd gadw ei ffyddlondeb at y Rhufeiniaid, pe gwelsent yn oreu wneuthur hynny. Canys y ddinas a'i phobl oedd ganddynt ddigonedd o arfau. Ond fel y dywedi, myfi gan hynny oedd awdwr eu gwrthryfel. Ac attolwg, O Justus, pwy oedd ei awdwr ar ol hynny? Canys ti wyddost fy mod i tan feddiant y Rhufeiniaid cyn gwarchae ar Jerusalem; a chyn yr un pryd ddarfod i Jotapata gael ei chymmeryd, yn gystal ag amryw amddiffynfeydd eraill; a llawer o'r Galileaid wedi syrthio yn y rhyfel. Yr ydoedd gan hynny yn amser cyfaddas, pan oeddych wedi eich rhyddhau o bob ofnau oddi wrthyf fi, i fwrw ymaith eich arfau; ac i ddangos i'r brenin, ac i'r Rhufeiniaid, mai nid o ddewisiad, ond wedi gorfod o angenrheidrwydd, y syrthiasoch i ryfel yn eu herbyn. Ond chwi a arosasoch nes i Vespasian ddyfod ei hun cyn belled a'ch muriau, gyd â'i holl fyddin; ac yna yn

* Agrippa yr ieuangaf.

wir, gan ofn, chwi ddodasoch heibio eich arfau; a'ch dinas yn sicr a gymmerasid trwy drais, pe na chydsyniasai Vespasian â deisyfiad y brenin ar eich rhan, ac esgusodi eich gwallgofrwydd. Nid myfi, gan hynny, oedd ei awdwr, ond eich tueddiad eich hun i ryfel. A ydych ddim yn cofio pa mor fynych y cefais chwi tan fy awdurdod, ac etto heb roddi neb o honoch i farwolaeth? Iё, chwi syrthiasoch unwaith i derfysg y naill yn erbyn y llall, ac a laddasoch gant a phedwar ugain a phump o'ch dinasyddion eich hunain; nid ar gyfrif eich ewyllys da i'r brenin, nac i'r Rhufeiniaid, ond o herwydd eich drygioni eich hunain: a hyn pan oeddwn i wedi gwarchae arnaf gan y Rhufeiniaid yn Jotapata. Iё, yn wir, oni wnaed i fynu ddwy fil o bobl Tiberias, yn amser y gwarchae ar Jerusalem, nifer o ba rai a laddwyd, eraill a ddaliwyd, ac a gludwyd ymaith yn gaethion. Ond ti a gymmeri arnat na chymmeraist ran yn y rhyfel; gan na ffoaist ymaith at y brenin. Do, yn wir, tydi a ffoaist atto: ond dywedaf, mai hynny oedd oblegid fy ofn i. Ti ddywedi, yn wir, mai myfi yw'r hwn ag sydd yn ddyn drygionus. Ond yna am ba reswm yr oedd ddarfod i'r brenin Agrippa, yr hwn a achubodd dy fywyd, pan i'th gondemniwyd i farw gan Vespasian, a'r hwn a gyfrannodd gymmaint o gyfoeth i ti, dy roddi ddwywaith ar ol hynny mewn rhwymau, a chyn fynyched a wnaeth i ti ddiangc o'th wlad? Ac wedi iddo unwaith orchymmyn dy roddi i farwolaeth, fe ganiattaodd faddeuant i ti ar daer ddeisyfiad Bernice. Ac ar ol cynnifer o'th gampau drygionus, y gwnaeth di yn ysgrifenydd iddo, fe'th cafodd yn anfon ffug-lythyrau oddi wrtho, ac a'th yrrodd ymaith o'i olwg. Ond ni ymofynaf yn fanwl i mewn i'r matterion hyn o warth i'th erbyn. Etto ni fedraf amgen na rhyfeddu oblegid dy ddigywilydd-dra; pan y mae gennyt yr hyfder o ddywedyd, ddarfod i ti adrodd y materion hyn ymherthynas i'r rhyfel yn well na'r lleill i gyd a ysgrifenasant yn eu cylch. Pan nad oeddit yn adnabyddus o'r hyn a wnaethpwyd yn Galilea: canys yr oeddit y pryd hynny yn Berytus, gyd â'r brenin: ac ni wybuost ti pa faint a ddioddefodd y Rhufeiniaid yngwarchaedigaeth Jotapata; na pha finderau a ddygasant arnom. Ac ni allit ddysgu gwybod trwy ymofyn pa beth a wnaethum yn amser y cynllwyn hwnnw fy hun. Canys y rhai hynny * oll ag a allasent roddi y fath hyspysrwydd a ddifethwyd yn llwyr yn y cynllwyn hwnnw. Ond ysgatfydd y dywedi ysgrifenu o honot yr hyn a wnaethpwyd yn erbyn pobl Jerusalem yn gywir. Ond pa fodd y gallai hynny fod? Canys ni pherthynit ti i'r rhyfel hwnnw; ac ni ddarllenaist sylwiadau Cæsar: o'r hyn y mae genym brawf amlwg: o herwydd gwrthwynebu o honot y sylwiadau hynny yn dy hanes. Ond os ydwyt mor hŷf a sicrhau ysgrifenu o honot dy hanes hwnnw yn well na neb eraill, paham na buasit yn cyhoeddi dy hanes tra'r oedd yr ymerawdwyr Vespasian a Thitus, y cad-flaenoriaid yn y rhyfel hwnnw, yn gystal a'r brenin Agrippa, a'i deulu, y rhai oeddynt dra chyfarwydd yn nysgeidiaeth y Groegiaid, i gyd yn fyw? Canys ti a'i ysgrifenaist er's ugain mlynedd; ac yna y gallesit gael tystion o'th gywreinrwydd. Ond yn awr, pan nad yw y rhai hyn yn hwy gyd â ni, a chan feddwl na'th wrthwynebir mwyach gan neb, yr wyt yn anturio ei gyhoeddi. Ond yna nid oeddwn i, yn y cyffelyb fodd yn ofni fy ysgrifeniadau fy hun, ond mi ddangosais fy llyfrau i'r ymerawdwyr eu hunain, pan ydoedd y gweithredoedd a grybwyllent ynghylch mewn golwg. Canys yr oeddwn yn gydwybodol im' fy hun ddarfod i mi sylwi ar wirionedd pethau: ac fel yr oeddwn tan ddisgwyliad am eu tystiolaeth hwy iddynt, felly ni'm siommwyd yn y disgwyliad hwnnw. Ymhellach, myfi yn uniongyrch a osodais fy hanes o flaen amrywiol eraill, ag a fuasai, rai o honynt, â rhan yn y rhyfel; megis y buasai brenin Agrippa hefyd, a rhai o'i garennydd. Yn awr yr oedd yr ymerawdwr Titus yn dymuno gymmaint i wybodaeth o'r cyfryw faterion gael eu cymmeryd o'r llyfrau hyn yn unig, fel y rhoddodd ei law ei hun wrthynt, ac a orchymmynodd iddynt gael eu gwneud yn gyhoeddus. A'r brenin Agrippa a ysgrifenodd attaf ddau a thrugain o lythyrau; ac a dystiodd i wirionedd y pethau a draddodaswn: dau o ba ryw lythyrau a chwanegais yma, fel y gwypech di eu cynnwysiad."

"Y brenin Agrippa at Josephus ei anwyl gyfaill, yn anfon annerch. Mi ddarllenais trosodd dy lyfr gyd â boddlonrwydd mawr: ac fe ym-

* Am y Rhyf. III. 7.

ddengys i mi ddarfod i ti ei wneuthur yn llawer cywreiniach, a chyd â mwy o ofal nag ysgrifenwyr eraill. Danfon i mi weddill y llyfrau hyn. Ffarwel, fy anwyl gyfaill."

"Y brenin Agrippa, at Josephus, ei anwyl gyfaill, yn anfon annerch. Fe ymddengys wrth yr hyn a 'sgrifenaist, nad wyt yn sefyll mewn angen o ddim hyfforddiant, mewn trefnu i'n gwneud yn hyspys o'r dechreuad. Pa fodd bynnag pan ddelych attaf, mi'th hyspysaf o lawer o bethau na wybuost etto am danynt."

Felly, wedi gorphen yr hanes yma, ni ymddygodd Agrippa mewn ffordd o weniaeth, yr hon nid oedd gyttunol ag ef; nac mewn gwawdiaith, fel y dywedi di: canys yr oedd efe yn hollol ddieithr i'r fath ddrwg dueddiad meddwl: ond fe ysgrifennodd fel hyn mewn ffordd o ddwyn tystiolaeth i'r hyn oedd wirionedd: fel y gall pawb a ddarllenant hanesion wneuthur. A chymmaint a hyn a geiff ei ddywedyd am Justus; yr hyn yr wyf yn rhwym i'w chwanegu mewn ffordd o osgöad.

Yn awr wedi i mi sefydlu materion Tiberias, a chynnull ynghyd fy nghyfeillion fel sanhedrim; mi gyd-ymgynghorais â hwynt pa beth i'w wneuthur ymherthynas i Ioan. Ar yr hyn yr ymddangosodd yn gydsyniad yr holl Galileaid, fod i mi eu harfogi, a gwneud o honynt ymgyrch yn erbyn Ioan, a'i gospi fel awdwr yr holl annhrefn a ddigwyddasai. Etto nid oeddwn i yn cael fy moddloni â'u penderfyniad hwn, am fy mod wedi bwriadu llonyddu y terfysgoedd hyn heb dywallt gwaed. Ar hyn mi a'u cynghorais hwynt i arfer eu gofal eithaf i wybod henwau y rhai oll ydoedd tan Ioan: yr hyn wedi iddynt wneuthur, ac i minneu trwy hynny wybod pwy ydoedd y dynion; mi gyhoeddais orchymmyn, ym mha un y cynhygiais ddiogelwch, a'm deheulaw i'r cyfryw o blaid Ioan ag oedd ag ewyllys i edifarhau. Ac mi a ganiatteais ugain niwrnod o amser i'r rhai a wnaent dderbyniad o'r drefn fanteisiol hon iddynt eu hunain. Bygythiais hefyd os na roddent i lawr eu harfau, y llosgwn eu tai, ac y gwerthid ar gyhoedd eu meddianau. Pan glybu'r bobl hyn yr oeddynt mewn terfysg nid ychydig; a hwy a ymadawsant â Ioan, ac i'r nifer o bedair mil, hwy a daflasant eu harfau i lawr, ac a ddaethant attaf fi. Felly ni arhosodd neb gyd â Ioan ond ei ddinasyddion ei hun: ac ynghylch pymtheg cant o ddieithriaid, a ddaethent o brif-ddinas y Tyriaid. Ac wedi i Ioan weled ddarfod ei orchfygu trwy y cyfrwysedd hwn, fe arhosodd yn ol hynny yn ei wlad ei hun, ac ydoedd tan ofnau mawr o honof fi. Ond ynghylch yr amser hwn pobl Sepphoris a dyfasant yn drahaus, ac a gymmerasant i fynu eu harfau, oddi ar yr hyfder oedd ganddynt ynghadernid eu caerau: ac am weled o honynt fyfi yn rhwym gyd â materion eraill.

Felly hwy a ddanfonasant at Cestius Gallus, yr hwn oedd raglaw Syria; gan ddymuno arno ef, un ai dyfod attynt yn ddioed, a chymmeryd eu dinas tan ei nodded, neu ddanfon gwersyll iddynt. Yn ganlynol Gallus a addawodd ddyfod attynt: ond ni ddanfonodd air pa bryd y deuai. Ac wedi i'm wybod gymmaint, mi gymmerais y milwyr oedd gyd â mi, ac a wnaethum ruthr ar bobl Sepphoris, ac a gymmerais y ddinas trwy drais. Y Galileaid a gymmerasant yr achlysur hwn, trwy feddwl fod ganddynt yn awr amser cyfaddas i ddangos eu casineb iddynt; am eu bod eisoes yn dwyn drwg ewyllys at y ddinas hon hefyd. Yna'r ymegniasant eu hunain, fel pe buasent am eu difetha oll yn llwyr, gyd â'r rhai oedd yn ymdaith yno. Felly hwy a redasant arnynt, ac a osodasant eu tai ar dân, megis y cawsant hwynt heb breswylwyr ynddynt. Canys y trigolion, oddi ar ofn, a gydredasant i'r castell. Felly y Galileaid a gludasant ymaith bob peth; ac ni arbedasant un math o ddifrod a allent ddwyn ar eu cydwladwyr. Pan welais hyn fe'm trallodwyd yn fawr; ac a orchymmynais iddynt roddi heibio; gan eu dodi ar gof nad oedd gyttun â duwioldeb i wneuthur y fath beth â'u cyd-wladwyr. Ond gan na wrandawent ar yr hyn a ddywedwn, neu'r hyn a orchymmynwn iddynt ei wneuthur; (canys y casineb a ddygent at y bobl hynny ydoedd ry galed i'm cynghorion iddynt;) perais i'r cyfryw o'm cyfeillion ffyddlonaf ag oedd o'm hamgylch, i roddi gair allan, fel pe byddai y Rhufeiniaid yn barod i syrthio ar y rhan arall o'r ddinas gyd â byddin fawr. A hyn a wnaethum, fel trwy'r cyfryw air wedi ei daenu o amgylch, y gallwn attal trais y Galileaid, ac achub dinas Sepphoris. Y ddyfais hon a gafodd y ddymunol effaith. Canys ar wrandawiad y newydd hwn, yr oeddynt mewn ofn am danynt eu hunain: a hwy a

adawsant yn llonydd yspeilio, ac a redasant ymaith: a hynny yn fwy enwedigol o herwydd iddynt fy ngweled i, eu penciwdawd, yn gwneud hefyd yr un peth. Canys fel y parwn i'r gair hwn gael ei gredu, cymmerais arnaf fod yn ofni megis hwythau. Fel hyn yr achubwyd trigolion Sepphoris yn annisgwyliadwy trwy fy adfwriad i.

Ië, yn wir, Tiberias hefyd a fu yn debyg o gael ei hanrheithio gan y Galileaid, ar yr achlysur canlynol. Gwŷr pennaf y senedd a ysgrifenasant at y brenin, i ddymuno arno ddyfod attynt, a chymmeryd meddiant o'u dinas. Yn ganlynol y brenin a addawodd ddyfod: ac a ysgrifenodd lythyr yn atteb i'r eiddynt hwy, gan ei roddi at un o'r ystafellyddion, enw yr hwn oedd Crispus, a'r hwn oedd o enedigaeth yn Iuddew, i'w ddwyn i Tiberias. Pan wybu y Galileaid fod y dyn hwn yn dwyn y cyfryw lythyr, hwy a'i daliasant, ac a'i dygasant attaf fi. Ond mor fuan ag y gwybu yr holl liaws am dano, yr oeddynt mewn cynddaredd, ac a aethant tan eu harfau. Felly nifer mawr o honynt a ddaeth ynghyd o bob parth y dydd nesaf, ac a ddaethant i ddinas Asochis, lle yr oeddwn i y pryd hynny yn llettŷa; gan wneuthur achwyniadau trymion; galwasant ddinasyddion Tiberias yn fradychwyr iddynt, ac yn gyfeillion i'r brenin: gan ddymuno cennad gennyf fi i fyned i wared, a'u llwyr ddifetha hwynt. Canys yr oeddynt yn dwyn yr un drwg ewyllys at bobl Tiberias, ag at y rhai o Sepphoris.

Pan wrandewais hyn yr oeddwn yn ammeu pa beth i'w wneuthur, ac yn petruso ynghylch y moddion trwy ba un y gwaredwn Tiberias oddiwrth lidiowgrwydd y Galileaid. Oblegid ni allwn wadu ddarfod i'r Tiberiaid ysgrifennu at y brenin, a'i wahodd i ddyfod attynt. Canys ei lythyrau attynt hwy yn attebiad i hynny a fyddai yn brawf digonol o'i wirionedd. Felly mi eisteddais hir amser mewn myfyrdod â mi fy hun; ac yna dywedais wrthynt, "Mi wn yn dda ddigon ddarfod i bobl Tiberias droseddu; ac ni waharddaf i chwi anrheithio y ddinas. Pa fodd bynnag, dylid gwneuthur y fath bethau gyd â phwyll. Canys hwynt hwy o Tiberias ni fu yr unig fradychwyr ein rhyddid, ond llawer o wladwriaethwyr enwoccaf y Galileaid, megis ag y cymmerent arnynt fod, a wnaethant yr un peth. Arhoswch, gan hynny, hyd oni chwiliwyf allan yn gwbl awdwyr ein peryglon, ac yna chwi a'u cewch ar unwaith tan eich awdurdod, gyd â'r cyfryw ag a ddygoch eich hunain i mewn hefyd." Wrth ddywedyd hyn mi lonyddais y lliaws; a hwy a adawsant heibio eu digter, ac a aethant bawb i'w ffordd. Ac mi orchymmynais fod i'r rhai a ddygent lythyrau'r brenin gael eu dodi mewn rhwymau: ond ymhen ychydig ddyddiau cymmerais arnaf fy mod yn rhwym, trwy achos angenrheidiol o'r eiddo fy hun, i fyned allan o'r deyrnas. Yna y gelwais Crispus yn ddirgel, ac a berais iddo feddwi y milwr oedd yn ei wylio; a rhedeg ymaith at y brenin. Felly pan oedd Tiberias mewn perygl o gael ei difetha yr ail waith, diangodd rhag niweid trwy'r moddion a ddyfeisiais, a'r gofal oedd arnaf am ei chadwedigaeth.

Ynghylch yr amser hwn, Justus, mab Pistus, heb yn wybod i mi, a redodd ymaith at y brenin. Yr achos o hono a adroddaf yma. Ar ddechreu y rhyfel rhwng yr Iuddewon â'r Rhufeiniaid, pobl Tiberias a ymroisant i ymostwng i'r brenin, ac nid i wrthdroi oddiwrth y Rhufeiniaid. Pan y ceisiodd Justus eu perswadio i fyned tan arfau, megis ei fod ei hun yn ewyllysio cyfnewidiadau: a chydâ gobaith i feddiannu y llywodraeth ar Galilea, yn gystal a'i dref ei hun Tiberias. Etto ni chafodd yr hyn a obeithiodd. O herwydd bod y Galileaid heb ddwyn ewyllys da at y rhai hynny o Tiberias; a hyn ar gyfrif eu digter at y blinderau a ddioddefasant oddi wrthynt cyn y rhyfel. Oddi yno yr oedd na ddioddefent Justus i fod yn llywodraethwr arnynt. Myfi fy hun hefyd, wedi ymddiried i mi gan y cyngor gwladol yn Jerusalem, â llywodraeth Galilea, a ddaethum yn fynych i'r radd hynny o ddigter tu ag at Justus, fel i'm perswadiwyd, ar amserau, i'w ladd ef; megis heb allu dioddef ei ddrwg ymddygiad. Yr ydoedd oblegid hynny yn fy mawr ofni; rhag o'r diwedd i'm gael fy nghyffroi i'w ddifetha. Felly fe aeth ymaith at y brenin; gan feddwl y byddai ei sefyllfa yn well, ac yn fwy diangol gyd âg ef.

Yn awr, wedi i bobl Sepphoris ddiangc mewn modd mor rhyfeddol rhag eu peryglon cyntaf, hwy a ddanfonasant at Cestius Gallus, i ddymuno arno ddyfod attynt yn ddioed, a chymmeryd meddiant o'u dinas; neu ynte an-

fon byddin ddigonol i wrthsefyll rhuthrau eu gelynion arnynt. Ac o'r diwedd hwy a lwyddasant i gael gan Gallus ddanfon byddin gryn helaeth iddynt, yn wŷr meirch a gwŷr traed: y rhai a ddaethant yn y nos, a'r rhai a ollyngasant i mewn i'r ddinas. Ond pan aflonyddwyd y wlad o amgylch gan y milwyr Rhufeinig, minnau a gymmerais y milwyr hynny ag oedd gydâ mi, ac a ddaethum i Garisme, lle y codais wrthglawdd, mewn pellder oddiwrth ddinas Sepphoris. A phan oeddwn mewn ugain ystâd o bellder, aethum i wneud ymosodiad ar ei muriau yn y nos: ac wedi rhoddi gorchymmyn i nifer o'm gwŷr i ddringo arnynt âg ysgolion, aethant trosodd, a darostyngasom y rhan fwyaf o'r ddinas. Ond yn fuan ar ol hynny, ein hanwybodaeth o'r lle a wnaeth i ni gilio o hono, wedi i ni ladd deuddeg o wŷr traed, a dau o wŷr meirch y Rhufeiniaid, ac ychydig o bobl Sepphoris; gydâ cholled o un dyn yn unig o'r eiddom ein hunain. Ac wedi dyfod ar ol hynny i frwydr â'r gwŷr meirch yn y gwastadedd, a gwrthsefyll ei pheryglon yn gefnog tros hir amser, nyni yn y diwedd a gurwyd. Canys wedi i'r Rhufeiniaid ein hamgylchynu o gwmpas, fy milwyr a ofnasant, ac a giliasant yn eu hol. Fe gwympodd yn y frwydr hon un o'r rhai a ymddiriedasid iddo am warcheidwad fy nghorph: ei enw oedd Justus, yr hwn y pryd hynny oedd a'r un swydd ganddo tan y brenin. Ar yr un pryd hefyd y daeth byddin o wŷr traed, a gwŷr meirch oddiwrth y brenin; a Sylla eu blaenor, yr hwn oedd gadben ei warchawdlu. Y Sylla hwn a sefydlodd ei wersyll bump o ystadau oddi wrth Julias, ac a osododd warchawdlu ar y ffyrdd; sef yr un a arweiniai i Cana, a'r hon oedd yn arwain i amddiffynfa Gamala: fel y gallai rwystro eu trigolion i gael ymborth allan o Galilea.

Cyn gynted ag y cefais wybodaeth o hyn, danfonais ddwy fil o wŷr arfog, a chadben arnynt, enw yr hwn oedd Jeremiah; yr hwn a gyfododd wrthglawdd mewn un ystad o bellder oddiwrth Julias, yn agos i afon yr Iorddonen: ac ni wnaeth ychwaneg nag ymgipris o bell â'r gelyn, hyd oni chymmerais dair mil o wŷr fy hun, a dyfod attynt hwy. Ond ar y dydd nesaf, wedi i mi osod cynllwyn mewn rhyw ddyffryn, heb fod nepell oddiwrth y gwrthglawdd, mi gymhellais y rhai a berthynent i'r brenin i ddyfod i frwydr; a rhoddais orchymmyn i'm milwyr fy hun i droi eu cefnau arnynt, nes y tynnent ymaith y gelyn oddiwrth eu gwersyll, a'u dwyn allan i'r maes. Hyn a wnaethpwyd yn ganlynol. Canys Sylla yn dychymmygu fod ein plaid ni yn diangc ymaith, ydoedd barod i'w herlid hwynt: pan y daifu ein milwyr oedd yn gorwedd mewn cynllwyn, eu cymmeryd o'r tu cefn, a'u dodi oll mewn annhrefn mawr. Hefyd gwnaethum dröad disymmwth gyd â'm byddin fy hun, a chyfarfum â'r rhai o blaid y brenin, ac a'u dodais ar ffo. Ac mi a wnaethwn bethau mawrion y dydd hwnnw, pe na buasai i ryw dynghedfen neillduol fod yn rhwystr i mi. Canys y march ar yr hwn y marchogais, ac ar gefn pa un yr ymleddais, a syrthiodd i siglen, ac a'm taflodd i lawr: trwy yr hyn i'm briwyd yn drwm yn fy arddwrn, ac a'm dygwyd ymaith i dref a elwid * Cepharname. Pan glybu fy milwyr am hyn, hwy a ofnasant i mi gael dolur gwaeth nag a deimlais: ac felly nid aethant ymlaen a'u herlidiad ymhellach, ond a ddychwelasant mewn dychryn mawr am danaf fi. Gan hynny, mi anfonais am y physygwyr; a thra yr oeddwn tan eu gofal, parheais yn glaf y dydd hwnnw; ac, fel y cyfarwyddai'r physygwyr, myfi a symmudwyd yn nes i Tarichæ.

Wedi i Sylla a'i blaid gael eu gwneud yn hyspys o'r hyn a ddigwyddasai i mi, hwy a gefnogwyd drachefn: a chan ddeall fod y wyliadwriaeth yn cael ei chadw yn esgeulus yn ein gwersyll ni; hwy, yn y nos, a osodasant gorph o wŷr meirch mewn cynllwyn, tu hwnt i'r Iorddonen: ac wedi ei myned yn ddydd hwy a'n cymmellasant i ymladd. Ac fel na wrthodasom hynny, ond a ddaethom i'r gwastadedd, eu gwŷr meirch a gyfodasant allan o'r cynllwyn ym mha un y gorweddent; a rhoisant ein gwŷr ni mewn annhrefn, ac a wnaethant iddynt ddiangc ymaith. Felly hwy a laddasant chwech o ddynion ar ein tu ni. Etto nid aethant â'r fuddugoliaeth yn y diwedd. Canys pan glywsant fod gwŷr arfog wedi hwylio o Tarichæ at Julias, hwy a ofnasant, ac a giliasant ymaith.

Ni bu hir amser yn awr nes i Vespasian ddyfod i Tyre, a brenin Agrippa gyd âg ef. Ond y Tyriaid a ddechreuasant lefaru yn waradwyddus

* Neu Capernaum, pa un a grybwyllir mor fynych yn y Test. Newydd.

am y brenin, gan ei alw yn elyn i'r Rhufeiniaid. Canys dywedasant i Philip, blaenor ei fyddin, fradychu y palas brenhinol a'r lluoedd Rhufeinig oedd yn Jerusalem; a darfod ei wneuthur wrth ei orchymmyn ef. Wedi i Vespasian glywed am hyn fe geryddodd y Tyriaid, oblegid iddynt ammherchi dyn ag oedd yn frenin, ac yn gyfaill i'r Rhufeiniaid. Ond fe gynghorodd y brenin i ddanfon Philip i Rufain, i atteb am yr hyn a wnaethai o flaen Nero. Canys efe a'i cafodd yn agos i farw, ar gyfrif y blinderau a ddigwyddodd y pryd hynny, ac o herwydd y rhyfel cartrefol: ac felly fe ddychwelodd at y brenin. Ond wedi dyfod Vespasian i Ptolemais, pennaethiaid Decapolis yn Syria a wnaethant achwyniaeth yn erbyn Justus o Tiberias, am osod o hono ei maesdrefi ar dân. Etto ni wnaeth y brenin ond yn unig ei roddi mewn rhwymau, ac a guddiodd yr hyn a wnaethai oddiwrth Vespasian fel yr adroddais o'r blaen. Ond pobl Sepphoris a gyfarfuant â Vespasian, ac a'i cyfarchasant ef: a chawsant luoedd wedi eu hanfon iddynt, gydâ Placidus yn flaenor. Efe hefyd a aeth i fynu gyd â hwynt, a minneu hefyd a'u canlynais; nes y daeth Vespasian i Galilea. Y'mherthynas i ba ryw ddyfodiad o hono, ac ym mha ddull y trefnwyd, ac fel yr ymladdodd ei frwydr gyntaf â mi yn agos i dref Tarichæ, a'r modd yr aethant oddi yno i Jotapata, ac fel y cymmerwyd fi yn fyw, ac i'm rhwymwyd, ac y rhyddhawyd fi yn ol hynny; gyd â'r hyn oll a wnaethpwyd gennyf yn y rhyfel Iuddewig, ac yn oed amser gwarchae ar Jerusalem, mi a'u hadroddais gyd â dichlynrwydd yn y llyfrau perthynol i ryfel yr Iuddewon. Pa fodd bynnag, bydd yn gymmwys, fel y tebygaf, i chwanegu y gweithrediadau hynny o'm bywyd, y rhai ni adroddais yn y llyfr hwnnw am yr rhyfel Iuddewig.

Wedi i'r cynllwyn neu warchae ar Jotapata fyned trosodd, a minneu tan awdurdod y Rhufeiniaid; fe'm cadwyd gyd â gofal mawr o herwydd y parchedigaeth a ddangosodd Vespasian tu ag attaf. Wrth ei orchymmyn ef, hefyd, y priodais * wyryf ag oedd o fysg caethion y wlad honno. Etto ni bu yn hir gyd â mi; ond a ysgarwyd ar fy rhyddhad o'm rhwymau, a'm mynediad i Alexandria. Pa fodd bynnag, mi briodais wraig arall yn Alexandria; ac fe'm danfonwyd oddi yno, gyd â Thitus, i'r gwarchaeedigaeth ar Jerusalem, ac a fum yn fynych mewn perygl am fy mywyd.

Tra'r oedd yr Iuddewon yn ewyllysio yn fawr fy nghael tan eu hawdurdod, mewn trefn i osod cosp arnaf: a'r Rhufeiniaid hefyd, pa bryd bynnag y curid hwynt, a feddylient ddigwydd o hynny trwy fy mradwriaeth i; ac a wnaent achwynion gwastadol wrth yr ymmerawdwyr; gan ddymuno arnynt fy nwyn i gospedigaeth, fel teyrn-fradwr iddynt. Ond yr oedd Titus Cæsar yn deall yn dda am ansicrwydd ffortun rhyfel, ac ni ddychwelodd un atteb i daerymgais y milwyr yn fy erbyn. Wedi, ymhellach, gymmeryd dinas Jerusalem trwy drais, Titus Cæsar a'm mynych berswadiodd i gymmeryd pa beth bynnag a ddewiswn allan o anrhaith fy ngwlad; ac a ddywedodd ei fod yn rhoddi cennad i mi wneuthur hynny. Ond wedi dinystrio fy ngwlad, ni fernais un peth arall o ddim gwerth, yr hyn allwn ei gymmeryd a'i gadw er cysur i mi, yn fy nhrallodion. Felly mi wnaethum fy erfyniad hwn at Titus, fod i'm teulu gael ei rhyddid. Cefais hefyd y llyfrau sanctaidd i'm meddiant, trwy oddefiad Titus. Ac nid hir ar ol hynny y bu nes y gofynais ganddo fywyd fy mrawd, a deg a deugain o gyfeillion gyd ag ef, yr hyn ni'm gommeddwyd o hono. Pan aethum hefyd unwaith i'r deml, trwy ganiattâd Titus, lle'r oedd lliaws mawr o gaethion, yn wragedd a phlant; cefais y rhai oll a gofiais eu bod o blith fy nghyfeillion a'm cydnabyddiaeth fy hun, wedi eu gosod yn rhyddion, a hwy mewn rhifedi ynghylch cant a phedwar ugain a deg: ac felly mi a'u gwaredais, heb orfod iddynt dalu dim o brîs eu prynedigaeth, ac a'u hadferais i'w dedwyddyd blaenorol. Ac wedi fy anfon gan Titus Cæsar gyd â Cerealius, a mil o wŷr meirch, i ryw faesdref a'i henw Thecoa, mewn trefn i wybod a ydoedd yn lle cymmwys i wersyllu; fel yr oeddwn yn dychwelyd yn ol gwelais lawer o gaethion wedi eu croeshoelio: a chofiais am dri o honynt eu

* Yma y mae Josephus, megis offeiriad, yn cyfaddef yn ddidwyll iddo wneuthur hynny wrth orchymmyn Vespasian, yr hyn a ddywedasai o'r blaen ei fod yn anghyfreithlon i offeiriad ei wneuthur wrth gyfraith Moses, Hynaf. III. 13. fy meddwl yw, cymmeryd caethes yn wraig iddo. Ond fe ymddengys iddo deimlo yn fuan na wnai ei gydsyniad â gorchymmyn yr ymerawdwr ei esgusodi ef; oblegid bu iddo yn fuan ei gollwng ymaith, fel y sylwir gan Reland.

bod o'm cydnabyddiaeth yn yr amserau gynt. Yr oeddwn yn ofidus iawn yn fy meddwl oblegid hyn, ac a aethum gyd â dagrau ar fy wyneb at Titus, i fynegi iddo am danynt. Felly efe yn uniongyrch a orchymynodd eu cymmeryd i lawr, a chymmeryd y gofal mwyaf oddiwrthynt i'r diben o'u hadferiad. Etto dau o honynt a fuont feirw tan ddwylaw'r physygwyr: pan yr iachawyd y trydydd.

Ond wedi i Titus lonyddu y blinderau yn Judea, a dychymygu na fyddai i'r tiroedd oedd gennyf yno ddwyn i mi ddim elw, o herwydd fod gwersyll yn wyliadwriaeth ar y wlad i gael eu sefydlu ar ol hynny yn y lle; fe roddodd i mi dir arall yn y gwastadedd. A phan oedd yn myned ymaith i Rufain, fe wnaeth ddewisiad o honof fi i fyned gyd ag ef, ac a ddangosodd i mi barch mawr. Ac wedi dyfod o honom yno, gofalwyd yn fawr am danaf gan Vespasian. Canys fe drefnodd i mi ystafell yn ei dŷ ei hun, yn mha un y preswyliai cyn meddiannu yr ymerodraeth. Hefyd fe'm hanrhydeddodd â'r rhagorfraint o fod yn ddinesydd Rhufain, gan roddi i mi ardreth flynyddol, a pharhau i ddangos caredigrwydd i mi hyd ddiwedd einioes, heb leihau dim o'i haelioni. Yr amgylchiad yma a barodd gynfigen tu ag attaf, ac a'm dygodd i berygl. Canys rhyw Iuddew, a gwfenwid Jonathan, yr hwn a godasai derfysg yn Cyrene, ac a berswadiodd ddwy fil o ddynion y wlad honno i gyduno, a fu'n achos o'u dinystr. Ond wedi ei ddodi mewn rhwymau gan lywodraethwr y wlad honno, a'i ddanfon at yr ymerawdwr, dywedodd wrtho ddarfod i mi ddanfon iddo arian ac arfau. Pa fodd bynnag ni allai guddio ei hun oddiwrth fod yn gelwyddog o flaen Vespasian, yr hwn a'i heuog-farnodd i farw. Yn ganlynol i ba ryw ddedryd fe'i dodwyd i farwolaeth. Ië, ar ol hynny, pan oedd y rhai a'm cynfigenai yn mynych ddwyn cyhuddiadau yn fy erbyn, trwy ragluniaeth Duw, mi ddiangais arnynt oll. Cefais hefyd gan Vespasian ran nid bychan o dir, fel etifeddiaeth rydd yn Judea. Ynghylch pa amser yr ysgarais â'm gwraig hefyd, megis heb foddloni i'w hymddygiad: er nad cyn iddi fod yn fam tri o blant: dau o ba rai a fuont feirw; ac un, yr hwn a gyfenwais Hyrcanus, sydd yn fyw.

Ar ol hyn mi briodais wraig a fuasai byw yn Crete, ond yn Iuddewes o enedigaeth. Merch ydoedd o deulu enwog,a'r fath ag ydoedd fwyaf godidog yn y wlad honno: a'r hon oedd â'i geirda tu hwnt i'r rhan fwyaf o ferched eraill, megis y tystiolaethodd ei bywyd ar ol hynny. O hon y cefais ddau o feibion: enw yr hynaf oedd Justus, a'r nesaf Simonides, yr hwn hefyd a gyfenwid Agrippa. A thyma oedd amgylchiad fy helynt teuluaidd. Pa fodd bynnag, fe barhaodd yr ymerawdwr yr un tu ag attaf hyd y diwedd. Canys wedi marw Vespasian, Titus, yr hwn a ddaeth i'w le ef yn y llywodraeth, a gynhaliodd i fynu yr un parch tu ag attaf ag a fwynheais oddiwrth ei dad: a phan gefais fynych achwyniadau wedi eu dodi yn fy erbyn, ni chredai efe hwynt. A Domitian, yr hwn a ddilynodd Titus, a chwanegodd etto ei ewyllys da tu ag attaf: canys efe a gospodd yr Iuddewon hynny a wnaent achwynion arnaf: ac a orchymynodd fod i wasanaeth-ddyn o'r eiddof, yr hwn oedd yn efnuch, ac yn gyhuddwr i mi, gael ei ddwyn i gospedigaeth. Gwnaeth hefyd yr etifeddiaeth oedd gennyf yngwlad Judea yn ddi-dreth; yr hwn sydd nod o anrhydedd mwyaf i'r neb a'i derbynio. Hefyd Domitia, gwraig Cæsar, a barhaodd i wneuthur cymmwynasau i mi. A thyma gyfrif o'm gweithrediadau a'm hamgylchiad trwy fy holl fywyd. A barned eraill am fy ymddygiadau fel y tybiont yn oreu.

---

DIWEDD BYWYD FLAVIUS JOSEPHUS.

---

## AMDDIFFYNIAD TYSTIOLAETHAU JOSEPHUS,

YMHERTHYNAS I'N

# HIACHAWDWR IESU GRIST,

## IOAN FEDYDDIWR, AC IAGO Y CYFIAWN.

MEGIS ag yr ydym yn cyfarfod ag amryw dystiolaethau pwysfawr yn Josephus, yr hanesydd Iuddewig, ymerthynas i Ioan Fedyddwr, rhagflaenor Iesu o Nazareth, ynghyd ag Iesu ei hun, a'i frawd Iago y cyfiawn: ac fel yr amheuwyd y dystiolaeth benafgan lawer, ac a'i gwrthodwyd megis pe byddai yn ffugiol; yr wyf yn ei gyfrif yn ddyledswydd arnaf, wedi credu yn gadarn am wirionedd y tystiolaethau hyn, i ddwyn prawf digonol o honynt, i'r diben i'w cadarnhau, ac yna gwneuthur sylwiadau addas, er boddlonrwydd mwy cyflawn i'r darllenydd. Cynmyned i mewn i'm prif amcan, fe allai na fydd yn anghymmwys, mewn ffordd o barottoad, i goffâu barn yr un mwyaf dysgedig, a gallnoccaf ysgatfydd i wybod am wirionedd Josephus, fy meddwl yw Joseph Scaliger, o waith pa un yn Lladin, yr hyn a ganlyn sydd gyfieithiad.

"Josephus yw'r un mwyaf dyfal, a charwr pennaf o wirionedd o bob ysgrifenwyr. Gallwn yn hyderus sicrhau am dano, fod yn fwy diberygl ei gredu ef, nid yn unig mewn perthynas i faterion yr Iuddewon, ond hefyd rhai dieithrol iddynt, na'r holl ysgrifenwyr eraill yn Groeg a Lladin; a hynny oblegid ei ffyddlondeb a chylch ei ddysgeidiaeth ag sydd yn eglur trwy ei holl waith."

Yr ysgrifenydd hwn yn ei flynyddol hanesion a ddywed, ddarfod i "Nero, mewn trefn i ddistewi'r sŵn (er gosod ei hun Rufain ar dân,) fe'i cyfrifodd i'r bobl a gasëid am eu hymarferiad dieithr, ac a elwid, gan y werin, yn Gristionogion. Y rhai hyn a gospodd yn llym. Awdwr yr enw hwn ydoedd Crist, yr hwn, tan deyrnasiad Tiberius, a roddwyd i farwolaeth gan Pontius Pilat, rhaglaw Judea."

Fel y rhydd Josephus ei dystiolaeth i ni, a chan fod ynghylch yr holl bethau eraill ag sydd wir am yr Iuddewon yn Tacitus, wedi eu cymmeryd yn uniongyrch ganddo ef o Josephus, ni all fod un rheswm yn aros i ammeu na chymmerwyd yr ymadrodd hwn allan o'i waith ef hefyd. Ni ellai gael yr hanes hwn oddi wrth yr hanesydd Iuddewig arall, Justus o Tiberias; canys Photius, yr hwn a ddarllenodd ei hanes ef, sydd yn sicrhau i ni, na wnaeth Justus un math o grybwylliad am Iesu Grist. Yr iawn ysgrifeniad o'r enwau hyn, Crist a Christ'nogion, megis yn Josephus, sydd reswm arall ddarfod i Tacitus gael ei hanes allan o hono ef; pa ryw enwau a fuasai yn amgen, gyd â Suetonius, a hen Rufeiniaid eraill, yn ysgrifenu yn Crest a Chrest'nogion. Geiriau Tacitus ydynt hefyd mor dra thebyg i Josephus, fel y mae'n rheswm mwyaf i benderfynu ddarfod eu cymmeryd allan o hono ef, ac nid o un awdwr arall pa bynnag. Fel hyn y dywed, "Chwi (Iuddewon) a wyddoch ddarfod cyfodi'r Iesu oddiwrth y meirw, ac esgyn o hono i'r nefoedd, fel y rhagddywedodd y prophwydi y digwyddai."

"Iago ydoedd yn llewyrchu mor ddisglaer ym mhlith y bobl, ar gyfrif eu gyfiawnder, fel y mae Flavius Josephus yn ei ugeinfed llyfr o Hynafiaethau'r Iuddewon, yn adrodd yr achos paham y darfu i'r bobl ddioddef cynmaint o flinderau hyd ddinystriad y deml gyssegredig; sef, i'r pethau hynny eu goddiweddu trwy ddwyfol anfoddlonrwydd, oblegid yr hyn a feiddient ei wneuthur âg Iago brawd yr Iesu, yr hwn a elwid Crist. Dywed ymhellach i'r bobl dybied ddarfod iddynt ddioddef y pethau hynny o herwydd Iago."

Yn y 18fed llyfr o Hynafiaethau'r Iuddewon, Josephus a dystiolaetha mai Ioan ydoedd y Bedyddiwr, a'i fod yn addaw puredigaeth i'r rhai a fedyddid. Yr un Josephus hefyd, wrth chwilio am yr achos o ddinystr Jerusalem, a dadymchweliad y deml, a ddylasai ddywedyd, mai eu herledigaeth yn erbyn yr Iesu ydoedd yr achos o'r trallodion a ddaethai ar y bobl, o herwydd lladd o honynt y Crist hwnnw, a ragfyn-

egwyd gan y prophwydi am dano; efe, megis pe byddai yn anewyllysgar, etto fel un nad oedd bell oddiwrth y gwirionedd, a ddywed, "Y blinderau hyn a oddiweddodd yr Iuddewon mewn ffordd o ddial oblegid Iago y Cyfiawn, yr hwn oedd frawd yr Iesu a elwid Crist, o herwydd lladd o honynt ef, yr hwn oedd berson tra chyfiawn. Yn awr yr Iago yma ydoedd yr hwn ag y darfu i'r gwir ddisgybl hwnnw i'r Iesu, sef Paul, ddywedyd ei weled, megis brawd yr Arglwydd, (Gal. 1. 19.) pa ryw berthynas nid oedd yn arwyddo gymmaint agosrwydd mewn gwaedoliaeth, neu yr un dygiad i fynu, a thebygolrwydd ymddygiad a dull o bregethu. Os dywed gan hynny i ddinystr Jerusalem orddiwes yr Iuddewon ar gyfrif Iago; gyd â pha faint mwy o reswm y gallai ddywedyd, ddigwydd o hono iddynt oblegid yr Iesu?" At hyn, Origen a chwanega, "Titus a ddinystriodd Jerusalem, megis y llefara Josephus, ar gyfrif Iago y Cyfiawn, brawd yr Iesu, a elwid Crist; ond, mewn gwirionedd o herwydd yr Iesu, Crist Duw."

"Er y gall y tystiolaethau, y rhai hyn a goffëais eisoes y'mherthynas i'n Iachawdwr fod yn ddigonol, fe all, pa fodd bynnag, na fydd yn gamweithred, wedi'r cwbl, i wneud defnydd o Josephus, yr Iuddew, fel tyst chwanegol. Yn y 18fed llyfr o'i Hynafiaethau, lle mae yn adrodd hanes yr hyn a ddigwyddodd tan Pilat, y mae'n crybwyll am ein Iachawdwr yn y geiriau hyn: "Yn awr yr ydoedd ynghylch yr amser yma un Iesu, yr hwn oedd ddyn doeth, os yw gyfreithlon i'w alw yn ddyn, canys yr ydoedd yn gwneuthur gweithredoedd rhyfedd, yn ddysgawdwr i'r fath ddynion ag oedd yn perchi gwirionedd. Fe ennilloedd trosodd atto ei hun amryw o Iuddewon a Chenhedloedd. Efe ydoedd y Crist. Ac wedi i Pilat ar ddeisyfiad pennaethiaid y bobl yn ein mysg, ei fwrw i'w groeshoelio, y rhai a'i carasant o'r dechreuad ni ymadawsant âg ef, canys efe a ymddangosodd iddynt yn fyw drachefn y trydydd dydd, fel y llefarasai y prophwydi sanctaidd am y pethau hyn, a llawer o bethau rhyfedd eraill ymherthynas iddo ef. Oddiwrth hyn y llwythau o Gristionogion nid ydynt wedi diflanu hyd heddyw." Os, gan hynny, y mae gennym dystiolaeth yr historiawr hwn, ddarfod iddo nid yn unig ddwyn trosodd atto ei hun y deuddeg Apostol, gyd â'r deg a thrugain o ddisgyblion, ond llawer o'r Iuddewon, a llawer o'r Cenhedloedd, mae'n amlwg y rhaid fod rhyw beth ynddo ag oedd yn rhagori ar eraill o ddynolryw; pa fodd yn amgen y gallai dynnu atto gynnifer o Iuddewon a Chenhedloedd, heb weithredu mewn modd gwyrthiol a rhyfeddol, gan arfer trefn o athrawiaethu mewn modd nad oedd gyffredin? Ymhellach, ysgrythyr Actau'r Apostolion sydd yn dwyn tystiolaeth fod amryw filoedd o Iuddewon (Act. 21. 20.) y rhai a berswadid mai efe ydoedd Crist Duw, yr hwn a ragfynegwyd gan y prophwydi." *Eusebius yn mherthynas i Iesu Grist.*

Yn y rhan honno o'r ysgrythyr lân a elwir yr Efangylau, crybwyllir am ben Ioan Fedyddiwr yn cael ei dorri ymaith gan Herod yr ieuangaf. Josephus hefyd sydd yn cyttuno â'r hanes hwn, ac sy'n crybwyll am Herodias wrth ei henw, megis gwraig ei frawd, yr hon a brïodasai Herod, wedi ysgar â'i wraig gyfreithlon ei hun. Merch ydoedd i Aretas, brenin Arabia Petrea, a'r hon Herodias a ymadawsai â'i gŵr tra'r ydoedd yn fyw. Ar y cyfrif hwn hefyd y gwnaeth Aretas ryfel âg ef, o herwydd iddo wneuthur â'i ferch mewn modd dianrhydeddus. Ym mha ryfel, pan ddaethant i frwydr, dywed ddarfod difetha holl fyddin Herod, ac iddo ddioddef hyn ar gyfrif ei ddyfais ddrygionus yn erbyn Ioan. Ymhellach, yr unrhyw Josephus, wrth addef Ioan yn ddyn tra chyfiawn, ac yn Fedyddiwr, sy'n cydgyfarfyd yn ei dystiolaeth â'r hyn a ysgrifenir yn yr Epistolau. Fe adrodda hefyd, ddarfod i Herod golli ei deyrnas o achos yr un Herodias, ynghyd â pha un y condemniwyd ef i'w alltudio i Fienna, dinas yn Gaul. Gwelwch ymhellach y'mherthynas i Ioan yn ei Hynafiaethau, Llyfr xviii. pen. 7. *Hanes eglwysig ynghylch y flwyddyn* 330.

Wedi i Josephus ysgrifennu yr hyn a goffawd uchod, y mae'n crybwyll am ein Hiachawdwr yn yr un hanes (yn ol y dull a soniwyd eisoes); gan hynny fel yr oedd yr ysgrifenwr hwn yn tarddu oddiwrth yr Hebreaid eu hunain, fe draethodd am y pethau hyn yn ei waith ei hun ymherthynas i Ioan Fedyddiwr a'n Hiachawdwr.

Yn awr Iago oedd yn berson mor rhyfedd, ac mor barchus gan bawb eraill oblegid ei gyfiawnder, fel y darfu i'r Iuddewon union-farn feddwl i'w farwolaeth fod yn achos o'r ymosod-

iad ar Jerusalem, yr hyn a ddigwyddodd yn ddi oed ar ol ei ferthyru ef, ac na syrthiasai hyn arnynt am un achos arall, ond y weithred ddrygfawr ag oeddynt yn euog o honi yn ei erbyn ef. Ni pheidiodd Josephus, gan hynny, yn ei ysgrifenadau a thystio yr un peth. Yr un rhyw Josephus a ddengys hefyd ddull ei farwolaeth, yn ei Hynafiaethau, Llyfr 20. pen. 8." *Gwel Origen megis uchod.*

Tŷb a chrediniaeth yr Iuddewon ydoedd, fel y crybwylla Josephus, (yr hwn sydd awdwr na ellir ei wrthod pan ysgrifenno yn ei erbyn ei hun), ddarfod i Herod golli ei fyddin, nid o herwydd twyll neu anffyddlondeb dynion, ond o herwydd digllonedd Duw, a hynny yn gyfiawn, fel effaith y gospedigaeth am yr hyn a wnaethai i Ioan Fedyddiwr, gŵr cyfiawn, yr hwn a ddywedasai wrtho, "Nid cyfreithlon i ti gymmeryd gwraig dy frawd." Yr Iuddewon eu hunain hefyd a ddygent dystiolaeth i Grist, fel yr ymddengys oddiwrth Josephus, ysgrifenwr eu hanes, yr hwn a ddywed, "Fod yn yr amser hwnnw ddyn doeth, os ydoedd yn gyfreithlon ei alw yn ddyn; yn wneuthurwr amryw weithredoedd hynodfawr; yr hwn a ymddangosodd i'w ddisgyblion wedi'r trydydd dydd ar ol ei farwolaeth, yn fyw drachefn, yn ol ysgrifenadau ein prophwydi, y rhai a ragddywedasant am hyn, ac aneirif bethau gwyrthiol eraill mewn perthynas iddo ef. Oddi wrtho ef y cyfododd y gynnulleidfa o Gristionogion, y rhai a dreiddiasant i blith pob math o ddynion. Ac nid oes cenedl yn aros yn y byd Rhufeinig ag sydd yn parhau yn ddieithr i'r grefydd hon. Os na chred yr Iuddewon ni, bydded iddynt gredu, o'r diwedd, eu hysgrifenwyr eu hunain. Josephus, yr hwn a gyfrifant yn awdwr parchedig, a ddywedodd hyn; efe a lefarodd y gwir yn y cyfryw fodd, hynny yw, gwir hanesiol, o herwydd ei fod yn ei weled yn anghyfreithlon i dwyllo, er nad oedd efe ei hun yn gredadyn, yr hyn sydd yn hytrach yn cadarnhau nag yn gwanhau ei dystiolaeth mewn perthynas i'r person rhyfeddol hwn." *Ambrose neu Hegesippus.*

"Yr ydoedd y pryd hwnnw un Iesu, dyn doeth, os oedd, yn yr hyn lleiaf, yn gyfreithlon ei alw yn ddyn, canys yr ydoedd yn wneuthurwr gweithredoedd rhyfedd, yn ddysgawdwr pethau doeth i'r rhai oedd ewyllysgar i glywed y gwirionedd. Efe hefyd a dynnodd trosodd atto lawer o'r Iuddewon, a llawer o'r Cenhedloedd. Efe oedd y Crist. A phan ddarfu i Pilat, wrth gyhuddiad y gwŷr pennaf o'n cenedl ni, roddi gorchymmyn i'w groeshoelio, y rhai a'i carent o'r dechreuad ni adawsant ef; canys efe a ymddangosodd iddynt yn fyw drachefn y trydydd dydd, yn ol yr hyn a ragddywedasai y prophwydi am dano, ac am aneirif ryfeddodau eraill y'mherthynas iddo ef. Ymhellach, y mae'r enw a'r blaid o Gristionogion, y rhai a enwir oddi wrtho ef, yn parhau atto mewn bod." *Rufinus y'mherthynas i Grist.*

"Yn y 18fed Llyfr o'i Hynafiaethau, y mae Josephus yn traethu ddarfod i Grist gael ei ladd gan y Phariseaid, ar gyfrif ei fawr wyrthiau, a bod Ioan Fedyddiwr yn brophwyd diamheuol, a darfod dadymchwelyd Jerusalem o herwydd lladd Iago yr Apostol. Ysgrifenodd y'mherthynas i'n Harglwydd yn y dull hwn. "Ar yr un amser yr ydoedd Iesu, dyn doeth, os yw etto yn gyfreithlon ei alw yn ddyn, canys yr ydoedd yn gwneuthur gweithredoedd rhyfedd, yn ddysgawdwr y rhai yn ewyllysgar a dderbynient y gwirionedd. Yr oedd llawer o ganlynwyr iddo o Iuddewon a Chenhedloedd. Efe a gredwyd ei fod yn Grist. A phan, trwy gynfigen ein pennaethiaid, y darfu i Pilat ei farnu i'r groes, er hynny oll, fel yr arwyddodd oraclau y prophwydi ynghylch hyn, a phethau rhyfedd eraill y'mherthynas iddo. A'r sect neu blaid o Gristionogion, wedi ei henwi felly oddi wrtho ef, ni ddiddymwyd hyd yn hyn." Gwelwch yr articl rhagflaenol. *Hieronymus neu Jerom.*

"Un Josephus, Iuddew o barch mwyaf, ydoedd yn fawr ei zêl tros y gyfraith. Efe hefyd a ddeongliodd yr Hen Destament gyd â gwirionedd, ac a weithredodd yn rymmus tros yr Iuddewon, ac a ddangosodd fod eu sefydliad yn ardderchoccach nag a ellir ei ddisgrifio trwy eiriau. Yn awr fel y gwnaeth i'w manteision hwynt roddi lle i'r gwirionedd (canys ni fynai gynnal barnau dynion annuwiol,) yr wyf yn ei dybied yn angenrhaid i osod i lawr ei eiriau ei hun. Beth, gan hynny, y mae yn ei ddywedyd? "Yn awr yr ydoedd dyn." &c. Gwelwch y ddau articl ragflaenol. Ni fedraf amgen na rhyfeddu cariad y dyn hwn at y gwir, mewn amryw faterion; ond yn bennaf, lle y dywed, "Iesu ydoedd

ddysgawdwr dynion, y rhai gyd â hyfrydwch a dderbynient y gwirionedd." *Isidore o Pelusium, ysgolhaig i Crysostom.*

"Josephus, mab Matthias, offeiriad, dyn o hynodrwydd mawr ym mhlith yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid, a ellir yn iawn ei gyfrif yn dyst credadwy y'mherthynas i wirionedd yr hanes am Grist; canys y mae ef yn petruso ei alw yn ddyn, megis ei fod yn gwneuthur gweithredoedd rhyfedd, ac yn dysgu gair y gwirionedd. Y mae yn ei enwi yn Grist yn gyhoeddus, ac nid yw heb wybod ddarfod ei farnu i'r groes, ac ymddangos o hono yn fyw y trydydd dydd; a darfod rhagfynegi llawer o bethau hynod eraill am dano ef gan y prophwydi duwiol. Efe a dystia, hefyd, ddarfod i'r rhai a dynasai trosodd atto ei hun, a hwy yn llawer o Genhedloedd yn gystal ag Iuddewon, barhau i'w garu ef, a bod y llwyth a enwid oddi wrtho ef, y Cristionogion, heb eu diddymmu hyd yn hyn. Fe ymddengys, hefyd, fel pe byddai wedi ei gyffroi gymmaint â'r gwyrthiau a wnaeth, ag y cymmerodd fath o lwybr canol, yn y cyfryw fodd ag i beidio gosod un math o ddirmyg ar y rhai a gredent ynddo ef, ond yn hytrach i fod o blaid gwirionedd a sylwedd eu crefydd." *Sozomen.*

"Josephus, mab Matthias, offeiriaid, dyn o enwogrwydd mawr ym mysg yr Iuddewon, ac o gyfrifiad ym mhlith y Rhufeiniaid, a gaiff fod yn dyst o wirionedd yr hanes am Grist; canys ni faidd efe ei alw yn ddyn, ond yn wneuthurwr gweithredoedd hynod, ac yn ddysgawdwr gwir athrawiaeth. Y mae yn ei enwi yn Grist yn gyhoeddus, ac nid yw yn ddiarwybod iddo ddarfod ei gondemnio i'r groes, ac ymddangos o hono ar y trydydd dydd yn fyw, ac i aneirif rifedi o bethau rhyfedd eraill gael eu rhagfynegi am dano ef gan y prophwydi sanctaidd. Ymhellach, y mae'n tystiolaethu hefyd, fod amryw y pryd hynny yn fyw o'r rhai a ddewisasai, yn Roegiaid ac Iuddewon, a'u bod yn parhau i'w garu ef; ac nad oedd y sect a enwid oddi wrtho ef mewn un modd yn diflannu yr amser hwnnw, ond yn hytrach mewn amgylchiad blodeuog.

"Rhai o'r Iuddewon a gredasant, ddarfod dinystrio byddin Herod, o herwydd ennyn y digllonedd dwyfol yn ei erbyn, a hynny yn dra chyfiawn mewn ffordd o ddial arno oblegid Ioan, yr hwn a elwid y Bedyddiwr. Canyd Herod a'i lladdasai ef yr hwn oedd yn ddyn da, ac yn cynghori yr Iuddewon i ddilyn rhinwedd, i ymarfer cyfiawnder, a byw yn grefyddol tu ag at Dduw, ac i uno ynghyd mewn bedydd, fel peth cymmeradwy, os arferid, nid yn unig i olchi ymaith bechod, ond i buro'r enaid, a math o sêl yr holl rinweddau ynghyd. Wedi i'r cyfryw reolau gael eu dysgu ganddo ef, a thyrfa fawr o bobl yn crynhoi i wrando arno, Herod, yn ofni rhag, trwy berswadiad ei athrawiaeth ef, i'r bobl ymadael oddi wrth ei lywodraeth (canys fe welodd fod y cyffredin bobl yn barod i ufuddhau i'r rheolau a'r rhybuddion a roddodd iddynt ym mhob peth), a farnodd yn fwy cymmwys i ragflaenu rhyw ymryson a allai gyfodi, trwy ei gymmeryd ef ymaith, nag, wedi i derfysg ddigwydd, i edifarhau pan fyddai yn rhy ddiweddar. Ar y drwg-dybiad hwn yn unig o eiddo Herod y danfonwyd Ioan yn garcharor i gastell Macheras, ac y dihenyddwyd ef yno. Ond, megis y sylwiasom o'r blaen, yr Iuddewon oeddynt o'r tybiau ddarfod i Dduw ddwyn distryw ar ei fyddin, ac wrth hynny osod cospedigaeth gyfiawn ar Herod, am ei greulondeb tu ag at Ioan." *Tystiolaeth Epiphanius Scholasticus ymherthynas i Ioan Fedyddiwr.*

"Yr archoffeiriad, Ananus, wedi tybied iddo gael amser cyfaddas i ddefnyddio ei awdurdod, gan fod Ffestus y rhaglaw wedi marw, ac Albinus yn unig ar y ffordd tu a Judea, a alwodd ynghyd gyngor o'r barnwyr, ac a archodd ddwyn amryw o'i flaen, ym mhlith pa rai yr oedd brawd yr Iesu, yr hwn a elwid Crist, enw pa un oedd Iago: ac wedi eu cyhuddo o droseddu yn erbyn y gyfraith, fe'u traddododd i'w llabyddio. Ond y rhai hyny o'r dinasyddion ag a ymddangosodd yn fwyaf cymhedrol, ac yn ddrwg ganddynt fod y gyfraith yn cael ei harferyd mor llymdost a ddigiwyd yn fawr, ac a ddanfonasant at y brenin (Agrippa) gan erfyn arno ysgrifennu at Ananus, a'r fod iddo ymgadw oddiwrth y fath farnau a'r nas gellid eu cyfiawnhau." *Epiphanius.*

"Josephus, awdwr Iuddewig, a ddywed am Grist, ei fod yn ddyn da a chyfiawn, gan amlygu ei hunan felly trwy ddwyfol ras; yr hwn trwy arwyddion a gwyrthiau a roddodd ymwared i lawer.

"Yn y 18ed Llyfr o'i Hynafiaethau, y mae Josephus yn traethu yn bendant, ddarfod i Grist gael ei ladd gan y Phariseaid, ar gyfrif mawredd ei wyrthiau: fod Ioan Fedyddiwr yn brophwyd gwirioneddol; a darfod difetha Jerusalem am laddedigaeth Iago yr Apostol.

"Josephus, philosophydd yr Hebreaid, a ysgrifenodd, ddarfod i ddinystr yr Iuddewon ddechrau o'r amser hwnnw: dywedodd hefyd mai wedi'r amser y darfu i'r Iuddewon groeshoelio Crist, yr hwn oedd ddyn da a chyfiawn, (hynny yw, os oedd gymmwys i alw y fath berson yn ddyn, ac nid yn Dduw), ni fu gwlad Judea fyth yn rhydd oddiwrth orthrymder. Y pethau hyn a adroddir yn ysgrifenadau yr unrhyw Josephus yr Iuddew."

Yr awdwr hwn a ddywed, "Mi ddarllenais draethawd Josephus ynghylch y greadigaeth; teitl pa un a ddarllenais mewn lle arall ydoedd, Sylwedd y greadigaeth. Y mae yn gynnwysedig o ddau draethawd o faintioli bychain; pa rai sydd yn traethu mewn modd byr am ddechreuad y byd. Fe lefara, pa fodd bynnag, am Dduwdod Crist mewn ffordd dra thebyg i'r eiddom ni; gan ddatgan fod yr unrhyw enw Crist yn perthynu iddo ef, ac ysgrifenu ym mherthynas iddo yn gyffredinol, mewn modd na ellir yn gyfiawn ei feïo. Y dull o ymadroddi yn y Traethawd hwn nid yw yn gwahaniaethu oddiwrth ei draethiadau eraill. *Photius am Grist, ac Ioan Fedyddiwr.*

"Josephus sydd yn ysgrifennu, ddarfod i Herod y tetrarch o Galilea a Pherea, mab Herod y Mwyaf, syrthio mewn cariad â gwraig ei frawd Herod, enw pa un oedd Herodias, ŵyres i Herod y Mwyaf, o'i fab Aristobulus, yr hwn a laddasai. Agrippa oedd hefyd yn frawd iddi. Yn awr, Herod a'i cymmerodd ymaith oddiwrth ei gwr, ac a'i priododd hi. Hwn yw efe ag a laddodd Ioan Fedyddiwr, y gwr mawr hwnnw, a rhagflaenor Crist, wedi ofni (fel y dywed Josephus) rhag iddo gyfodi terfysg ym mhlith y bobl; canys hwy oll a ddilynasant gyfarwyddyd Ioan, o herwydd y rhinwedd rhagorol am ba un yr oedd efe mor odidog."

"Offeiriad o Jerusalem, a elwid Josephus, yr hwn a ysgrifennodd, gyd â gwirionedd, hanes amgylchiad yr Iuddewon, sydd yn dwyn tystiolaeth ddyfod Crist yn y cnawd, a darfod ei groeshoelio, ac ar y trydydd dydd gyfodi o hono drachefn; ysgrifeniadau pa un sydd ynghadw yn y llyfrdŷ cyffredin. Gan hynny, trwy fod ysgrifenwŷr yr Hebreaid yn tystiolaethu ymherthynas i'n Harglwydd a'n Hiachawdwr, yn ei lyfrau ei hun, pa amddiffyniad a all fod gan anghredinwyr i'w gwrthod hwynt?" *Macarius ymherthynas i Grist.*

"Josephus, yr hwn a ysgrifennodd ynghylch cymmeriad Jerusalem (am yr hwn y mae Eusebius yn crybwyll yn fynych yn ei Hanes Eglwysig), a ddywed yn amlwg, yn ei goffadwriaeth o'r caethiwed, fod Iesu yn gweini yn y deml gyd â'r offeiriaid. Hyn a gawsom fod Josephus yn ei ddywedyd, dyn o amserau hynafiaethol, ac heb fod yn hir ar ol dyddiau'r apostolion." *Suidas am yr Iesu.*

"Y carwr hwnnw o'r gwirionedd, Josephus yr Iuddew, sydd yn llefaru am ragflaenor Crist ein Hiachawdwr. Yn y 18ed llyfr o'i Hynafiaethau, y mae'n addef yn gyhoeddus ddarfod i Grist gael ei ladd gan yr Iuddewon, ar gyfrif ei fawr wyrthiau; a bod Ioan Fedyddiwr yn wir brophwyd; a darfod dadymchwelyd Jerusalem o herwydd lladd Iago apostol Iesu Grist." *Sophronius ymherthynas i Grist ac Ioan.*

"Josephus, yn wir, sydd yn ysgrifennu mewn perthynas i Ioan Fedyddiwr, fel y canlyn: "Rhai o'r Iuddewon a dybiasant ddyfod distrywarfyddin Herod oddiwrth Dduw, fel cospedigaeth gyfiawn am ei greulondeb tu ag at Ioan a elwid yn Fedyddiwr: canys Herod a'i lladdodd ef, yr hwn oedd yn ddyn da, ac yn cynghori yr Iuddewon i ymarfer â rhinwedd, yn gystal trwy gyfiawnder tu ag at eu gilydd, a chrefydd tu ag at Dduw, ac felly dyfod i'w bedyddio." Ond mewn perthynos i Grist, yr unrhyw Josephus a ddywed, "Ynghylch yr amser hwnnw yr ydoedd Iesu, dyn doeth, os yw gyfreithlon ei alw yn ddyn, canys yr oedd yn wneuthurwr gwyrthiau mawrion, ac yn ddysgawdwr y fath ddynion a dderbyniant y gwirionedd yn ewyllysgar; a llawer a ddaethant trosodd at Grist, hyd yn oed o'r Cenhedloedd; o ba rai, wedi i Pilat ei groeshoelio, amryw a'i carodd yn y dechreuad, ni roisant heibio bregethu am dano ef; canys efe a ymddangosodd iddynt y trydydd dydd yn fyw drachefn, fel y tystiolaethodd y prophwydi duwiol, y rhai a lefarasant am y

pethau hyn, a phethau rhyfedd eraill mewn perthynas iddo ef." Dygwn Josephus ei hun yn dyst, yr hwn oedd un o sectau'r Iuddewon. Ystyrier y cariad at y gwirionedd oedd yn y dyn hwn, pa un er ei fod yn Iuddew etto ni adawodd iddo ei hun ddilyn ffalsedd Iuddewig a chyfrwys ymocheliad." *Cedrenus am Ioan Fedyddiwr, a Christ.*

Theophylact a ddywed, "Dinas yr Iuddewon a gymmerwyd, a digllonedd Duw a gynnenodd yn eu herbyn; megis y mae Josephus hefyd yn tystio ddarfod i hyn ddyfod arnynt ar gyfrif marwolaeth Iago'r apostol.

Yn y 18fed llyfr o'r Hynafiaethau, y mae Josephus yn adrodd, ddarfod torri pen Ioan Fedyddiwr, yr hwn oedd ddyn sanctaidd, ar ddeisyfiad Herodias, gwraig Philip. Canys Herod a ysgarasai â'i wraig gyntaf, yr hon oedd yn fyw etto. Merch ydoedd hi i Aretas, brenin Arabia Petrea. Pan gymmerodd Herod, gan hynny, Herodias ymaith oddiwrth ei gŵr, tra'r oedd etto yn fyw (ar gyfrif pa un y lladdodd Ioan), Aretas a wnaeth ryfel yn ei erbyn, o herwydd i'w ferch gael triniaeth mor ddianrhydeddus. Yn y rhyfel hwn, fe ddywed, i holl fyddin Herod gael ei difetha, a dioddef o hono'r trallod hwnnw o herwydd y drygioni a wnaethai yn erbyn Ioan. Yr un Josephus sydd yn adrodd, ddarfod i Herod golli ei deyrnas oblegid Herodias, ac iddo gyd â hi gael ei alltudio, &c. Yn awr ddarfod i'n Hiachawdwr ddysgu a phregethu dair blynedd a welir yn amlwg, yn gystal oddiwrth awdwyr eraill, ac allan o'r Efengylau sanctaidd; ac hefyd yn ysgrifeniadau Josephus, yr hwn oedd ddyn doeth ym mysg yr Hebreaid.

"Yn yr un llyfr o Hynafiaethau Iuddewig, y mae Josephus yn ysgrifennu, ddyfod ar ol Ananus dri o archoffeiriaid; Ishamael mab Baphi, Eleazar mab Ananus, a Simon mab Camathus, &c. Y mae hefyd yn adrodd y 7fed llyfr o'r rhyfel Iuddewig, ddarfod cymmeryd Jerusalem yn yr eilfed flwyddyn o lywodraeth Vespasian, ac ym mhen amryw flynyddau ar ol iddynt feiddio rhoddi'r Iesu i farwolaeth; ym mha amser efe a ddywed i James, brawd ein Harglwydd, ac esgob Jerusalem, gael ei fwrw i lawr o'r deml, a'i labyddio i farwolaeth." *Cronicl Alexandria, am Ioan a Christ.*

"Yn yr awdwr hwn y mae gennych hefyd dalfyriad o'r hyn oll a ysgrifennodd Josephus ym mherthynas i'n Hiachawdwr Iesu Grist ac Ioan Fedyddiwr. "Fe ysgrifenodd y modd hwn y'mherthynas i Ioan, ddarfod i Herod ei ladd ef yr hwn oedd ddyn da, ac yn cynghori'r Iuddewon i arfer cyfiawnder y naill tu ag at y llall, ac i fod yn grefyddol tu ag at Dduw, ac felly i ddyfod i fedydd, canys wrth hynny'r ymolchi â dwfr a fyddai yn gymmeradwy ganddo. Yn awr Herod yn ofni rhag i'r effaith fawr a gafodd gweinidogaeth Ioan ar y bobl, i roddi yn ei allu i godi gwrthryfel (canys hwy a ymddangosasant yn barod i wneud pa beth bynnag a gynghorai), fe dybiodd yn well, trwy ei roddi ef i farwolaeth, i ragflaenu rhyw niweid a allai fod yn achos o hono; a pheidio dwyn ei hun i anhawsderau wrth arbed dyn yr hwn a allai wneud iddo edifarhau o'i blegid, pan fyddai yn rhy ddiweddar. Yn ganlynol, fe'i danfonwyd yn garcharor, oblegid drwgdybiau Herod, i Macheras, ac a'i rhoddwyd i farwolaeth. Yn awr yr Iuddewon a farnasant fod dinystr ei fyddin wedi ei ddanfon fel cosp ar Herod, a nod o anfoddlonrwydd tu ag atto." *Zonaras.*

"Ynghylch yr amser hwn hefyd y bu'r i'n Harglwydd Iesu Grist ymddangos yn Judea, ym mherhynas i ba un Josephus, yn y 18fed llyfr o'i Hynafiaethau, a ddywed fel hyn: "Yn awr yr ydoedd ynghylch yr amser hwn ddyn doeth, os yw yn gyfreithlon ei alw yn ddyn, canys yr ydoedd yn wneuthurwr gweithredoedd rhyfedd, yn ddysgawdwr y fath ddynion ag a dderbynniant y gwir gyd â boddlonrwydd. Fe dynnodd trosodd atto lawer o'r Iuddewon, a llawer o'r Cenhedloedd. Efe ydoedd y Crist. Ac wedi i Pilat, ar ddeisyfiad y gwŷr pennaf yn ein mysg ei farnu i'w groeshoelio, y rhai a'u carodd ar y cyntaf ni adawsant ef; canys fe ymddangosodd iddynt y trydydd dydd yn fyw drachefn, fel y rhagddywedasai y prophwydi duwiol am y pethau hyn, a llawer o bethau rhyfedd eraill mewn perthynas iddo ef. A'r llwyth o Gristionogion, y rhai a enwid felly oddi wrtho, ni ddiddymwyd hyd heddyw. Y pethau hyn a ysgrifenodd Josephus yn ei Hynafiaethau ym mherthynas i Grist. Johannes Sarisburiensis, Petrus Comestor, Gotfridus Viterbiensis, a Vicentius Bellovacensis, y cwbl ydynt yn chwanegu eu tystiolaethau y'mherthynas i Josephus

mewn cyffelyb eiriau i'r rhai uchod."

"Philo a Josephus oedd yn blodeuo yr amser hwnnw. Y diweddaf a elwid yn garwr y gwirionedd, o herwydd ei fod yn cymmeradwyo Ioan, yr hwn a fedyddiodd ein Harglwydd, ac am ei fod yn dwyn tystiolaeth, yr un modd, fod Crist yn ddyn doeth, ac yn wneuthurwr gwyrthiau mawrion, ac ymddangos o hono y trydydd dydd ar ol ei groeshoelio." *Glycas.*

"Yn awr,(y'mberthynas i Herod y tetrarch)hyn a sicrheir, nid yn unig yn yr Efengylau Sanctaidd, ond gan Josephus, y carwr hwnnw o'r gwirionedd; yr hwn hefyd a grybwylla am Herodias, gwraig Philip ei frawd, yr hon a gymmerasai Herod oddi arno tra'r ydoedd yn fyw, ac a'i priododd, gan ysgar â'i wraig gyntaf, yr hon oedd ferch Aretas, brenin Arabia Petrea. Ar gyfrif pa un, hefyd, wedi iddo ladd Ioan Fedyddiwr, Aretas a wnaeth ryfel âg ef, o herwydd ei ymddygiad tu ag at ei ferch. Ym mha ryfel y mae'n adrodd, ddarfod difetha holl fyddin Herod, ac iddo ddioddef hyn ar gyfrif ei angbyfiawnaf laddedigaeth o Ioan Fedyddiwr. Y mae hefyd yn chwanegu, fod Ioan yn ddyn tra chyfiawn. Ymhellach, y mae'n crybwyll am ei fedydd, yr hwn sydd yn cyttuno ym mhob pwngc â'r hyn a adroddir yn yr efengyl. Hyspysa i ni hefyd, ddarfod i Herod golli ei deyrnas ar gyfrif Herodias,gyd â'r hon hefyd barnwyd ef i'w alltudio i Vienne, dinas ar derfynau Gaul, yn eithafoedd y gorllewin.

Pa fodd bynnag, yn y 18fed llyfr o'i Hynafiaethau, y mae'n dywedyd ymhellach ynghylch Ioan: "Rhai o'r Iuddewon a dybiasant, ddarfod i'r distryw ar fyddin Herod ddyfod oddiwrth Dduw, a hynny yn dra chyfiawn, fel cospedigaeth am yr hyn a wnaeth ymberthynas i Ioan, a elwid y Bedyddiwr. Canys Herod a'i lladdodd ef,yr hwn oedd ddyn da, ac un ag oedd yn annog yr Iuddewon i ymarfer â rhinwedd, a chrefydd tu ag at Dduw, ac felly i ddyfod i fedydd, megis, trwy'r moddion hynny, yr ymddangosai yr ymolchiad â dwfr yn gymmeradwy ganddo, pan arferent ef,nid i roddi ymaith rai pechodau yn unig, ond er puredigaeth y corph, gan feddwl yn wastad fod yr enaid wedi ei gwbl buro ym mlaen llaw trwy gyfiawnder. Yn awr, wedi i amryw eraill ddyfod yn dorfeydd o'i amgylch (canys hwy a gynhyrfwyd yn fawr wrth ei eiriau,) Herod a ofnodd rhag i'w berswadiad grymmus dueddu at ymryson, canys hwy a ymddangosent yn barod i wneuthur pob peth a orchymynai iddynt. Tybiodd yn oreu i ragflaenu rhyw ymgynhygiad at derfysg oddi wrtho, ei symmud ef ymaith, nag i adael y fath gyfnewidiad ddyfod o amgylch, a pheri i'r cyffredin edifarhau am yr esgeulusdra hwnnw. Yn ganlynol, fe'i danfonwyd yn garcharor, o herwydd drwg-dybiau Herod, i gastell Macheras, ac yno y lladdwyd ef. Dyma hefyd gyfrif Josephus." Yr ysgrifenwr hwn sy'n cydgyfarfod â'r un rhagflaenol yn ei dystiolaeth o Josephus, mewn perthynas i Iesu Grist ein Hiachawdwr. *Tystiolaeth Nicephorus Callistus y'mherthynas i Ioan Fedyddiwr.*

"Josephus yr Iuddew, yr hwn a elwid Flavius, offeiriad, a mab Matthias, offeiriad o'r genedl honno, hanesydd tra enwog, a medrus mewn llawer o bethau. Yr oedd efe yn sicr yn ddyn da, o ymddygiad rhagorol, ac oedd â meddyliau uchel ganddo am Grist." ***Hardmannus Schedelius.***

Platine sydd yn hyspysu i'r darllenydd, y "gadawir o'r neilldu grybwyll yr hyn a wnaethai Crist, hyd y degfed flwydd ar hugain o'i oedran, pryd y bedyddiwyd ef gan Ioan fab Zacharias; o herwydd fod nid yn unig yr Efengylau a'r Epistolau yn llawn o'r gweithredoedd a gyflawnodd efe yn y modd mwyaf rhagorol; ond y cyfryw lyfrau ag oedd dra phell oddiwrth ei ffordd ef o fywiolaethu a gweithredu. Flavius Josephus ei hun, yr hwn a ysgrifenodd ugain llyfr o Hynafiaethau yr Iuddewon yn yr iaith Roeg, wedi myned ym mlaen cyn belled a'r ymerawdwr Tiberius, fe ddywed, "Yr ydoedd dyn," &c. *Gwel dystiolaeth Rufinus.* Yr un Josephus sydd hefyd yn cadarnhau, fod Ioan Fedyddiwr yn wir brophwyd, ac o herwydd hynny yn cael ei berchi gan ddynion yn gyffredinol: ddarfod ei ladd ef gan Herod fab Herod y Mwyaf ynghastell Macheras, ychydig cyn marwolaeth Crist; a darfod i'r gorchymmyn gwaedlyd hwn gael ei roddi gan Herod ar ddeisyfiad Herodias,chwaer Agrippa,a gwraig ei frawd Philip, yr hon a briodasai mewn math o ymlosgach." *Tystiolaeth Platine.*

Er darfod i Josephus barhau yn Iuddew, efe yn fynych a gymmeradwyai'r Cristionogion; ac

yn y 18fed llyfr o'i Hynafiaethau, fe ysgrifenodd i lawr dystiolaeth odidog y'mherthynas i'n Harglwydd Iesu Grist." Pa un a ddarfu i Trithemius gael ychwaneg o ymadroddion y'mherthynas i'r Cristionogion yn ei gopïau o waith Josephus, ag ydoedd yn awr neu gynt mewn bod, neu gyfrif o hono'r llyfr am y greadigaeth iddo ef, a chyfarfod ynddo â chymmeradwyaeth o'r Cristionogion, ni ellir yn awr ei wybod. Cyn belled a hyn, pa fodd bynnag, y mae'n amlwg, fod gan yr Abad dysgedig hwn ag sydd yn sicrhau, fod Josephus yn mynych gymmeradwyo'r Crist'nogion, ychwaneg o dystiolaethau mewn ysgrifeniadau a farnodd fod yn eiddo Josephus, i'r pwrpas hwn, nag ydym ni yn bresennol yn hyspys o honynt. Yr hyn a ymddengys fod yr amgylchiad gyd âg Origen, Eusebius, awdwr Cronicl Alexandria, Suidas, a Theophylactus, fel yr ymddengys yn ein casgliadau allan o honynt.

Gallem goffâu ychwaneg o dystiolaethau allan o'r ysgrifenwyr hynottaf, megis y cyfieithiad Lladin o Haimo, Anonymus Bambergensis, Conradus Urspergensis, Albertis Stadensis, &c. a grybwyllir gan Fabricius, pa ryw awdwyr oll a goffânt yr un dystiolaeth ymherthynas i Grist: ond, fel na feier arnom am ormod meithder, gadawn hwynt o'r neilldu, gan olygu fod y rhai a goffawd eisoes yn ddigonol, ar fanwl sylwiad, i foddloni y darllenydd diduedd.

## SYLWIADAU AC ADFYFYRIAD
### AR Y TYSTIOLAETHAU RHAGFLAENOL AM
# Jesu Grist.

I. MEWN perthynas i ddull ymadrodd yr holl dystiolaethau rhagflaenol allan o Josephus, y mae'n cyttuno yn gymmwys â'r eiddo ef; ac yn enwedig i'w ddull o ymadroddi yn y rhanau hynny o'i Hynafiaethau, lle'r ydym yn cael y tystiolaethau hyn. Ei dystiolaeth ymherthynas i Ioan Fedyddiwr ac Iago y Cyfiawn, a gyfrifir mor ddiamheuol a'r un hynny mewn perthynas i Grist, o'r hwn y mae'n gwneuthur crybwylliad mor anrhydeddus.

II. Yr ymadroddion a geir yn Josephus ymherthynas i Ioan Fedyddiwr ac Iago y Cyfiawn, yn enwedig y cyfryw ag sydd yn ein copïau presennol, yn gystal a'r rhai o gopïau yr Hynafiaid, ydynt yn ddiddadl o iawn darddiad. Un ysgrifenwr a ymddengys ag ewyllys i adael o'r neilldu yr un hynny ymherthynas i Ioan Fedyddiwr, er ei goffâu yn fanwl gan Origen ei hun allan o Josephus; ond, gan nad yw ef yn dangos un peth fel rheswm i gynnal ei wrthddadl, bydd i ni fyned heibio iddo heb wneuthur 'chwaneg o sulw.

III. Oddi yma y canlyn, gan fod y tystiolaethau hyn wedi eu hysgrifennu yn ddiwad gan Josephus ei hun, yr oedd agos yn ammhosibl iddo adael yn gwbl o'r neilldu ryw dystiolaeth am Iesu Grist: a phan y mae ei dystiolaeth am Ioan Fedyddiwr a Iago y Cyfiawn mor helaeth, ei dystiolaeth am Grist ni allai amgen na bod yn anrhydeddus. A allai yr un awdwr ag a ddygodd dystiolaeth mor barchus am Ioan Fedyddiwr, rhagflaenor Iesu o Nazareth (holl ddisgyblion pa un a ddaeth ar ol hynny yn ddisgyblion iddo ef), beidio a llefaru yn anrhydeddus am Iesu o Nazareth ei hun? A hynny yn ein hanes o'r amserau ym mha rai y ganwyd ef, y bu fyw, a marw hefyd? Prin y gellir credu hyn. Heblaw hynny, a allai'r un awdwr ag a ddywedodd mor barchus am Iago y Cyfiawn, a hynny tan yr un enw ag Iago brawd yr Iesu, yr hwn a elwid Crist, pa ryw Iago ydoedd un o'r disgyblion neu apostolion pennaf Iesu Grist, ac a fuasai amryw flynyddau yn unig esgob Crist'nogol yr Iuddewon anghrediniol yn Judea a Jerusalem, yn nyddiau, ac yngwlad yr ysgrifenwr hwn; a allai efe, meddaf, yn llwyr adael o'r neilldu, neu ballu rhoddi hanes anrhydeddus am Iesu Grist ei hun, disgybl ac esgob pa un yn ddiddadl ydoedd yr Iago hwn? Nid yw hyn debygol neu deilwng o grediniaeth.

IV. Yr ymadrodd hynod yn nhystiolaeth Josephus am Grist, "Hwn ydoedd y Crist," sydd yn amlwg yn profi fod yr Iesu hwn yn cael ei wahaniaethu oddiwrth bob un arall o'r enw, o ba rai nid oedd ychydig y dyddiau hynny, fel y crybwyllir gan Josephus ei hun, gyd â'r chwanegiad o'r enw arall Crist; neu, nad oedd y person yma neb amgen na'r hwn yr oedd yr holl fyd yn ei adnabod wrth yr enw Iesu Grist, a'i ganlynwyr wrth yr enw Cristionogion, wedi eu galw felly gyntaf yn Antioch.

V. Fe ymddengys na fwriadodd Josephus yma i addef ei hun ar gyhoedd yn Gristion;

etto ni allai gredu yr hyn y mae'n ei adrodd y'mherthynas i Iesu Grist, heb ei fod mor bell yn Gristion ag oedd y Nazareaid Iuddewig neu Ebioniaid y pryd hwnnw; y rhai a gredent mai Iesu o Nazareth oedd y gwir Fessia, heb gredu ei fod yn rhagor na dyn; ac a gredent hefyd yr angenrheidrwydd o sylwi ar gyfraith seremoniol Moses, mewn trefn i iachawdwriaeth holl ddynolryw; yr hyn oedd ddau brif byngciau ffydd y Cristionogion Iuddewig hyn, er ei fod yn wrthwyneb i holl apostolion Iesu Grist yn y ganrif gyntaf, ac hefyd i holl eglwys gatholic Crist yn y can' blynyddoedd canlynol. Y mae, gan hynny, yn dra thebygol fod Josephus, yn ei feddwl a'i gydwybod ei hun, yn unig yn Nazaread, neu Iuddewig Gristion Ebionaidd; ac y mae i'w sylwi arno y modd y mae ei holl dystiolaeth, a'r hyn oll a ddywed ynghylch Ioan Fedyddiwr a Iago, yn gystal a'i ddistawrwydd ynghylch yr holl apostolion eraill, yn cyttuno yn gymmwys âg ef tan yr enw hwnnw, ac nid un arall. Fe sicrheir yn eglur i ni, fod y miloedd o Iuddewon a gredasant yng Nghrist (Act. xxi. 20.), yn y ganrhif gyntaf i gyd yn dwyn zêl tros y gyfraith seremonïol; ac o ganlyniad, os oedd un rheswm i feddwl fod ein Josephus mewn un ystyr, yn gredadyn neu Gristion, megis y mae amryw oddiwrth y tystiolaethau hyn; y rhesymau hyn ac eraill ni allant lai na'n tueddu i feddwl nad oedd efe yn ddim amgen na Nazaread, neu Gristion Ebionaidd, fel y cyfenwid hwynt yr amser hynny.

VI. Yr ydym yn penderfynu, gan hynny, megis yr ymddangosodd Josephus yn ei feddwl ei hun ai gydwybod, yn ddim amgen na Nazaread neu Gristion Ebionaidd, a thrwy ganlyniad gyd â hwynt yn ymwrthod â'n holl lyfrau Groeg o'r Testament Newydd, ac yn unig yn dderbyniol o efengyl Hebraeg y Nazareaid neu Ebioniaid; y dylai fod gennym ni hefyd yr efengyl Nazareaidd neu Ebionaidd hynny, gyd â'r gweddillion eraill mewn golwg, pan ystyriom unrhyw ymadrodd yn Josephus yn perthynu i Grist, neu Gristionogrwydd. Megis fel hyn yr oedd yr efengyl honno yn gadael o'r neilldu yr hyn oll sydd yn nechreu efengylau St. Matthew a St. Luc gennym ni, ac yn dechreu yn unig â gwinidogaeth Ioan Fedyddiwr; ym mha rannau cyntaf o'r hanes efengylaidd y mae sôn am lofruddiad y babanod, ac o'r trethiad tan Augustus Cæsar a Herod; nid yw yn ddim rhyfeddod fod Josephus heb gymmeryd gofal i gadw'r hanesion hyn mewn modd eglur a neillduol.

Yn y cyffelyb fodd, pan ydym yn cael Josephus yn galw Iago, brawd yr Iesu, yn Iago y Cyfiawn, ac yn ei ddescrifio fel dyn tra chyfiawn, yr ydym i gofio mai y cyfryw yw ei enw a'i eirda yn yr efengyl yn ol yr Hebreaid, a'r gweddillion Ebionaidd eraill o'r eiddo Hegesippus, ond nid yn un man arall. Ac nid ydym i feddwl eu bod yn golygu yma un cyfiawnder arall ond yr hwn oedd trwy'r gyfraith Iuddewig, ym mha un St. Paul, (Phil. iii. 6.) cyn iddo gofleidio Cristionogrwydd, a broffesodd ei fod yn gyfiawn.

Y modd hwn Josephus, gyd âg Iuddewon eraill, y rhai a gyfrifasant drallodion y genedl tan Vespasian a Titus, gyd â dinystr Jerusalem, i lofruddiad barbaraidd Iago y Cyfiawn, a raid eu bod yn coffa yr hyn a ddysgwn ni oddiwrth weddillion Ebionaidd Hegesippus, fod yr Ebioniaid hyn yn deongli prophwydoliaeth Esay, megis yn rhagddywedyd am y llofruddiad hwn, a'r barnedigaethau canlynol: "Cymmerwn ymaith y cyfiawn, canys y mae efe yn aflesol i ni; am hynny y bwyttânt ffrwyth eu ffyrdd eu hunain." Josephus hefyd a ddywed, megis y gwelsom, fod y dinasyddion cyfiawnaf yn Jerusalem, a'r rhai mwyaf eu zêl tros y gyfraith, yn dra anesmwyth oblegid y ddedryd a roddwyd ar fywyd yr Iago hwn, a rhai o'i gyfeillion, neu gyd-gristionogion, gan yr archoffeiriad a'r Sanhedrim; gan dystio ei fod ef ei hun yn un o'r Iuddewon a dybiasant fod trallodion y genedl yn effaith o'r dwyfol anfoddlonrwydd, am lofruddiad yr Iago hwn; gallwn yn hawdd ganfod nad oedd y rhai hynny ond tybiau Iuddewon dychweledig, neu Epionaidd. Yr archoffeiriad a'r Sanhedrim, y rhai yn wastad a erlidiasant y Cristionogion, a'r corph o Iuddewon anghredin iol y rhai a feddylir eu bod yn dioddef o herwydd llofruddiad Iago, ni allent yn sicr fod o'r meddyliau hynny. Fel hyn, yn ddiweddaf, pan goffeir Josephus yn Suidas, megis ei fod yn cadarnhau i'r Iesu gyd-weini â'r offeiriaid yn y deml; nid yw'r cyfrif hwn mewn un modd yn anghyttuno â haeriad yr Ebioniaid. Yr un peth a gadarnheir am Iago y Cyfiawn

gan Hegesippus yr Ebioniad.

Yr awdwr nesaf sydd gennyf i wirio hyn yw Justin Ferthyr, un mor agos o gydoeswr â Josephus, ag y gallai gael ei eni tu a'r amser yr ysgrifenodd efe ei Hynafiaethau. Y mae Justin mewn lle arall yn apelio at yr Hynafiaethau, wrth yr enw hwnnw; ac er nad yw yma yn uniongyrch yn eu nodi hwynt, etto y mae'n ymddangos i mi fel yn cyfeirio at y dystiolaeth yma ynddynt ymherthynas i'n Hiachawdwr, pan y mae'n sicrhau yn y lle hwn wrth Tryphon yr Iuddew, fod ei genedl yn gwybod o'r dechreu fod Iesu wedi cyfodi oddiwrth y meirw, ac esgyn o hono i'r nefoedd, megis yr oedd y prophwydoliaethau yn rhagfynegi y digwyddai. Ac yn wir nid ymddengys fod ganddo ddim neillduol arall mewn golwg ond yr ymadroddion hynny o'r dystiolaeth yma, lle y dywed Josephus, ddarfod i'r Iesu ymddangos i'w ganlynwyr yn fyw y trydydd diwrnod ar ol ei groeshoeliad, fel y rhagddywedasai y prophwydi duwiol am hyn, a phethau rhyfedd eraill ymherthynas iddo.

Origen yw'r awdwr nesaf a grybwyllais am dystiolaethau Josephus ymherthynas i Ioan Fedyddiwr, Iesu o Nazareth, a Iago y Cyfiawn. Efe yn wir a ganiatteir, ar bob llaw, ddarfod iddo ei goffâu am ragorol gymmeradwyaeth Ioan Fedyddiwr, ac Iago y Cyfiawn: ond ei ddychymmygol ddistawrwydd ynghylch y dystiolaeth hon mewn perthynas i'n Hiachawdwr, a gymmerir yn gyffredinol am y rheswm pennaf yn erbyn ei fod yn wirioneddol; ac yn enwedig mewn perthynas i'r ymadrodd, "Hwn oedd y Crist," a hynny, fel y gwelsom, o herwydd ei fod ddwywaith yn sicrhau i ni, nad oedd Josephus ei hun, yn ol ei dyb ef, yn cydnabod Iesu yn Grist. Am yr ymadrodd diweddaf hwn, yr wyf yn sylwi, na ddarfu i Josephus yma, wrth ysgrifenu at Roegiaid a Rhufeiniaid, feddwl y cyfryw beth wrth y geiriau hyn ag y mae Iuddewon a Christionogion yn ddeall yn naturiol oddi wrthynt. Y mae gennyf hefyd i'w sylwi, fod yr holl hynafiaid yn caniattâu byth, gyd âg Origen, na ddarfu i Josephus yn yr ystyr Iuddewig a Christionogaidd, gydnabod Iesu am y gwir Fessïa, neu wirioneddol Grist Duw, er eu manwl goffâd o'r ymadrodd hwnnw yn Josephus megis yr hyn oedd eirwir. Felly oddi eithr i ni feddwl fod gan Origen wahanol dybiau am y geiriau hyn i'r holl hynafiaid eraill, nis gallwn benderfynu, oddi wrth yr ymadrodd hwn, nad oedd ganddo y cyfryw eiriau yn ei gopi.

Pa fodd bynnag, fe ymddengys i mi, fod Origen yn rhoddi i ni bedwar gwahanol arwyddion o brif-rannau y tystioliaethau hyn, megis pe byddent yn gynnwysedig yn ei gopi ef. Yn gyntaf, Pan y mae Origen yn dwyn i mewn dystiolaeth Josephus mewn perthynas i Iago y Cyfiawn, ddarfod iddo ystyried y trychineb a ddaeth ar yr Iuddewon fel arwydd o ddialedd dwyfol ar y genedl honno am ddodi Iago i farwolaeth, yn lle Iesu, y mae yn arfer ymadrodd nad yw mewn un modd yn angenrhaid i'w amcan, ac heb ddim achlysur iddo oddiwrth eiriau Josephus yno; fy meddwl yw, ddarfod iddynt ladd "y Crist hwnnw am ba un y rhagddywedyd yn y prophwydoliaethau." O ba le y gallai'r ymadrodd hwnnw ddyfod i feddwl Origen, pan ydoedd yn coffâu tystiolaeth o Josephus ymmherthynas i frawd Crist, oddi ar y goffadwriaeth o ymadrodd yn nhystiolaeth yr unrhyw Josephus ymherthynas i Grist ei hun, ddarfod i'r prophwyd ragfynegi ei farwolaeth a'i adgyfodiad, ac adrodd amryw bethau hynod eraill mewn perthynas iddo ef?".

Yn ail, fe ofynir, Paham yr oedd Origen yn rhyfeddu cymmaint wrth fod Josephus yn cyfrif dinystr Jerusrlem i waith yr Iuddewon yn llofruddio Iago y Cyfiawn, ac nid i'w llofruddiad o'r Iesu, fel y gwelsom ei fod, pe na wybuasai ddarfod i Josephus lefaru am yr Iesu a'i farwolaeth o'r blaen; a bod ganddo dŷb dda am Iesu, yr hyn ni's gallai etto wybod trwy un ffordd mor sicr ag oddiwrth y dystiolaeth hon? Ac nid yw'r geiriau y mae'n eu harfer, sef fod Josephus "ymhell oddiwrth y gwirionedd," ysgatfydd yn cyfeirio at un peth arall, ond y dystiolaeth hon ag ydym yn awr yn ei hystyried.

Yn drydydd, Beth a allai gymmell Origen, ar ychydig achos, wedi darfod iddo ynddiweddar osod i lawr y dystiolaeth honno o eiddo Josephus am Iago y Cyfiawn, brawd yr Iesu, yr hwn a elwid Crist, ddywedyd, "Ei fod yn gwestiwn pa un a oedd yr Iuddewon yn meddwl am Iesu fel dyn, neu ddychymygu o honynt am dano fel bod o ddwyfol naturiaeth?" Hyn a ymddengys mor dra chyffelyb i ymadroddion y dystiolaeth hon yn Josephus, sef, "Fod Iesu yn ddyn

doeth, os yw gyfreithlon ei alw yn ddyn," fel y mae'n debygol fod Origen yn cyfeirio attynt. A hyn sydd yn fwy i hyderu arno, oherwydd fod yr holl Iuddewon anghrediniol, a'r holl weddill o Iuddewon Nazareaidd, yn cyfrif Iesu o un fryd yn unig fel dyn, yn fab Joseph a Mair. Ac nid yw, fel y tebygaf, yn bosibl cael un Iuddew ond Josephus, ag a ddywed ei fod yn rhyw beth mwy na dynol, neu, yn ol arwyddoccâd ei eiriau, yn berson dwyfol." Yr wyf yn cyfrif hwn yn rheswm o rym nid bychain.

Yn bedwerydd, gellir gofyn, "Pa ham y mae Origen yn cadarnhau ddwywaith, "Na chyfaddefodd Josephus ei hun, mewn ystyr Iuddewig a Christ'nogaidd, mai'r Iesu oedd y Crist?" Er bod ei gasgliadau allan o hono ef yn dystiolaethau rhagorol am Ioan Fedyddiwr, ei ragflaenor, ac am Iago y cyfiawn, ei frawd, ac un o'i brif-ddisgyblion? Nid oes un ymadrodd yn holl Josephus mor debyg i berswadio Origen am hyn, a'r dystiolaeth ardderchog o'n blaen, ym mha un, fel yr oedd efe a'r holl hynafiaid yn ei ddeall, yr oedd yn cael ei alw yn Grist, yr enw cyffredin oddiwrth ba un yr oedd y sect o Gristionogion yn deilliaw; a'r lle y mae o hyd, yn llefaru am y Cristionogion hynny megis plaid ag oedd mewn bod, awdwr pa un ydoedd berson rhyfeddol, a'i ganlynwyr yn ei garu ef a'r gwirionedd yn fawr; etto yn gyfryw sect neu blaid a'r na unasai ei hunan â hwynt. Ac ni allaf ddychymmygu un rheswm ond hwn, ac iaith gyfattebol Josephus mewn lle arall, pan y llefara am Iago, brawd, nid yr Iesu yr hwn *oedd* Crist, ond Iesu yr hwn a *elwid* yn Grist, a allai mor naturiol gymmell Origen ac eraill i gynnwys y meddyliau hynny.

VII. Ymherthynas i Photius, y sylwiedydd manwl hwnnw, yr hwn a flodeuodd yn y nawfed ganrhif, ag a feddylir nad oedd ganddo y dystiolaeth hon yn ei gopi o Josephus, neu ynte ei fod yn ei gyfrif yn ffugiol; oherwydd, yn ei gasgliadau allan o Hynafiaethau Josephus, na chrybwyllir mo'no yn bendant; ni allaf lai na rhyfeddu i ddosparthiad, yr hwn a nodasid allan o gopïau Josephus amryw weithiau, cyn dyddiau Photius, yn gystal a chael ei grybwyll o hyd yn ol ei ddyddiau ef, gael ei dybied heb fod yn ei gopi, oblegid nad yw yn uniongyrch yn ei grybwyll mewn talfyriadau bychain ac ammherffaith, heb fod mewn un ffordd neillduol yn perthynu i'r fath fatterion. Y rhai a osodant bwys ar y distawrwydd hwn yn Photius, a ymddangosant megis wedi sylwi ond ychydig ar natur a byrdra y talfyriadau hynny. Ni chynhwysant ond ychydig neu ddim, fel y mae ei hun ar y dechrau mewn effaith yn crybwyll, ond yr hyn a berthyn i Antipater, Herod y Mwyaf, ei frodyr a'i deulu, gyd â'u gorchestion, hyd ddyddiau Agrippa yr ieuangaf, a Cumanus rhaglaw Judea, bymtheng mlynedd ar ol marwolaeth ein Iachawdwr, heb un gair am Pilat, na'r hyn a ddigwyddodd tan ei lywodraeth ef; yr hwn ydoedd yr unig le priodol ym mha un y gellid crybwyll y dystiolaeth hon. Pa fodd bynnag, gan fod Photius, fel y gwelsom, yn dangos megis pe byddai mewn ammheuaeth ynghylch y traethawd am y greadigaeth, a gyfrifir i Josephus, oblegid ei fod yn llefaru mor barchus am dduwdod Crist; hyn sydd yn dwyn tebygolrwydd mawr i'w wybodaeth o ryw beth neillduol yn yr un Josephus, ag oedd yn mynegi am dano mewn modd islach, yr hwn ni allai ond yn brin fod yn un ymadrodd arall heblaw yr un sydd o'n blaen. Ac megis y gwelsom hefyd, pan y mae'n crybwyll am hanes Iuddewig Justus o Tiberius, fel wedi ei llygru â rhagfarnau 'r Iuddewon, trwy fod heb sylwi mewn un gradd ar ddyfodiad, gweithredoedd, a gwyrthiau Iesu Grist, tra y mae etto heb ddywedyd byth yn y modd hwn am Josephus ei hun; hyn sydd yn naturiol arwyddo hefyd nad oedd y cyffelyb achos yma i'w nodi ag yn y lle hwnnw; ond na adawsai Josephus yn hollol ddyfodiad, gweithredoedd, a gwyrthiau Crist heb eu hadrodd; yr hyn a wnaeth ym mhob rhan arall o'r llyfrau a welwyd gan Photius, yn gystal a Justus o Tiberias, oddi eithr yn y dystiolaeth odidog o'n blaen. Felly y mae yn dra thebygol fod gan Photius nid yn unig y dystiolaeth hon yn ei gopi, ond hefyd gredu o hono ei bod yn wirionedd awdurdodol.

VIII. Distawrwydd Clement o Alexandria, yr hwn sydd yn coffa Hynafiaethau Josephus, ond heb fyth grybwyll un o'r tystiolaethau o'n blaen, ni ellir ei gyfrif yn fatter o ryfeddod, gan nad yw yn coffâu Josephus ond unwaith, a hynny ymherthynas i bwngc o amseryddiaeth yn unig, i benderfynu pa nifer o flynyddau a

aethant heibio o ddyddiau Moses hyd ddyddiau Josephus: felly gallai ei ddistawrwydd am gant o bethau hynod eraill yn Josephus gael ei esgusodi, yn gystal a'r peth sydd yn awr tan ein hystyriaeth.

IX. Y cyffelyb ddistawrwydd a arferir gan Tertulian, nid yw yn arwyddo nad oedd y tystiolaethau hyn yn ngopïau ei amser ef. Nid yw Tertulian fyth yn crybwyll am neb rhyw draethiadau o eiddo Josephus, ond yr hwn yn erbyn Apion, a'r un yn gyffredinol am bwngc o amseryddiaeth. Ac nid ymddengys yn un man ddarfod i Tertulian erioed weled rhai o ysgrifeniadau Josephus heblaw hynny; a phell oddiwrth sicrwydd ydyw iddo weled y rhai hyn. Yr oedd ganddo achos neillduol yn ei ddadlyddiaeth â'r Iuddewon, i goffâu Josephus uwchlaw pob awdwr arall, i brofi cyflawniad prophwydoliau yr Hen Destament yn ninystr Jerusalem, a thrallodion yr Iuddewon y pryd hwnnw, am yr hyn y mae yn ymddiddan; etto nid yw unwaith yn ei goffa ar yr achos pwysig hwn. Felly y mae yn hytrach yn ymddangos, na ddarfu i Tertulian erioed ddarllen Hynafiaethau Groegaidd Josephus, na'i lyfrau Groeg o'r Rhyfel Iuddewig. Ac nid yw hyn oll yn beth dieithr yn Tertulian, ysgrifenwr Lladinaidd, ag oedd yn byw yn Affrica, gan na ddarfu i neb o ysgrifenwyr Affrica, i'm gwybodaeth i, grybwyll am un ymadrodd allan o ysgrifenadau Josephus. Ac nid yw yn werth yr amser, nac o ddim canlyniad mawr, i sôn am ddistawrwydd ysgrifenwyr eraill.

Y mwyaf ammheus o'r holl dystiolaethau hyn, fel y meddyliwyd yn ddiweddar, sef yr un hynny ymherthynas i'n Hiachawdwr Crist, a dystir am wirionedd, fel y gwelsom wrth eglur gyfeiriad Tacitus a Justin Ferthyr, ynghylch canol yr eilfed ganrif; trwy gyfeiriad mwy sicr Origen, ynghylch canol y drydydd; trwy goffâd deublyg o hono gan Eusebius yn y rhan flaenorol o'r bedwerydd; trwy gyfieithiad rhydd o hono allan o Josephus, gan Ambrose neu Hegesippus, yn fuan ar ei ol yn yr un ganrhif; gan gopi Lladin a wnaethpwyd gan Rufinus yn ei gyfieithiad o'r Hanes Eglwysig; trwy gyfieithiad Lladin arall o Josephus, gan Hieronymus neu Jerom; a chan ei gyfaill dysgedig Sophronius, y cwbl ill triodd, ddiwedd y bedwaredd, neu ddechrau'r bummed ganrif.

Isidorus, o Pelusium, ysgolhaig Crysostom, a Sozomenus, yr hanesydd eglwysig, pob un ym moreu y bummed ganrif. Cassiodorus hefyd, a'i gyfaill Epiphanius Scholasticus, a draddododd i ni ddau gyfieithiad Lladin yn gynnar o'r chweched ganrif. Mae gennym yr un dystiolaeth eglur, wedi ei choffa gan Anastasius, yn yr wythfed ganrif. Y mae hefyd gennym gyfieithiad Jerom o hono, wedi ei ail-adrodd gan Freculphus Lexeviensis; y cwbl wedi ei osod i lawr yn Roeg gan Hamartolus, a chan un Macarius, yn, neu ynghylch y nawfed ganrif. Heb ddywedyd dim am yr hen gyfieithiad Lladin, megis yr ail-adroddwyd gan Haimo yn y nawfed, ac Albertus Stadensis yn y drydydd ganrif ar ddeg, y rhai a gyfrifir yn wir gadarnhad o'r traethiadau rhagflaenol. Hyn, fel y profasom yn gyflawn, a fu amgylchiad y dystiolaeth hon, yn yr holl oesoedd Cristionogol a aethant heibio, ac, yn oed pymtheg can mlwydd cyntaf yr eglwys, trwy amrywiol wledydd Ewrop.

Rheswm arall o blaid gwirionedd y dystiolaeth hon, mewn perthynas i'r oesoedd gynt, a edrychir heibio iddo yn gyffredin gan ddysgawdwyr o Gristionogion, er nad wyf yn ei farnu o bwys bychan; a hynny yw, y diystyrwch a ddangosodd yr holl Iuddewon anghrediniol yn wastadol tu ag at Josephus, yr historiawr goreu, yn ddiddadl, a fu gan eu cenedl, ar ol eu rhai cyssegredig.

Beth all fod y rheswm o'r dirmyg hwn i hynafiaeth Josephus yn y Groeg? A pheth oedd sail yr esgusiad twyllodrus wrth haeru nad oedd yr hanes Hebraeg yn wir waith Josephus, oddi eithr ei fod y tystiolaethau yn awr tan ystyriaeth, ac yn enwedig yr un hwnnw y'mherthynas i Iesu Grist, ac sy'n gwasgu mor drymed ar yr anghrediniol genedl Iuddewig, a'r na's gellid ei ddioddef ganddynt. Hyn a raid ymddangos i bob rhai diduedd, yn achos pennaf o'u gwrthodiad o'r awdwr rhagorol hwn; ac ni fedraf ddychymmygu un achos tebygol arall o'u gwrthodiad; yr hwn, os derbynir am y gwir reswm, dilysrwydd y tystiolaethau hyn, ac yn enwedig yr un hynny am Iesu Grist, a dderbynir hefyd megis yn gwbl ddiwad gan yr holl rai diragfarn. Ac nid ydym ychwaith yn

llwyr amddifad o brofiad, mai wedi i'r dystiolaeth hon gael ei gosod mewn ysgrifen o eiddo Josephus yn Hebraeg, pa un ai ei fod mewn cyfieithad Hebraeg o'i Hynafiaethau, neu dalfyriad Hebraeg diweddarach, rhai Iuddewon a barasant ei groesi, neu ei ddileu allan o hono. Gwelwch Dr. Cave's Historia Literaria, Vol. II. tan yr articl pendant Josephus. Mor bell a hyn ymherthynas i'r pymtheg canrhif cyntaf.

Ar ol i'r ddyfais o argraphu gymmeryd lle yn yr unfed ganrhif ar bymtheg, yr ydym yn cael y dystiolaeth hon, yn ol fy nhyb i, ym mhob argraphiad, ac ym mhob cyfieithad o Josephus, mewn amryw ieithoedd. Ië, er pan ddarfu i Gisanius ac Osiander godi'r cwestiwn hwnnw yn yr unfed ganrhif ar bymtheg, a Tanquil Faber yn gyntaf ysgrifennu yn ei erbyn yn y ddwyfed ganrhif ar bymtheg, yr holl weddill o ysgrifenadau Josephus, Eusebius, &c. a fanwl chwiliwyd ac a edrychwyd i mewn iddynt; a chafwyd fod pob un o honynt yn cynnwys y dystiolaeth hon yn ei hiawn le, tan lywodraeth Pilat, a hynny heb ddim neillduol wahaniaeth. Ac nid ydym yn cael un awdwr hynafiaethol o ddyddiau Josephus hyd amser Gisanius, yn cymmeryd arno ei fod yn gwybod am gopïau yn unrhyw iaith hebddo, nac yn rhoddi i ni yr achos lleiaf i feddwl eu bod yn ei ammeu, neu yn ei gyfrif yn amgen na gwirionedd sicr a diymwad. At hyn y rhaid chwanegu y tebygolrwydd mawr ag sydd, oddiwrth y tystiolaethau diddadl ynghylch Ioan Fedyddiwr a Iago y Cyfiawn, fod yn rhaid i Josephus roddi rhyw gyffelyb dystiolaeth y'mherthynas i Grist: a'r tebygoliaeth mawr ag sydd, am farn neillduol Josephus ei hun, mai'r un â'r Iuddewon Nazareaidd neu Ebïonaidd ydoedd, â phroffes pa rai y mae'n cyttuno ym mhob amgylchiad. A chan mai fel hyn y mae'r achos yn bod, tybiaf y bydd i bob rhai deallus a'i hystyrio orfod cyfaddef, fod y dystiolaeth hon nid yn unig yn amlwg, ac yn gyfryw na's gellir ei gwadu, ond, yn y cwbl, mor gadarn ag unrhyw ymadroddion eraill yng ngwaith Josephus yn awr mewn bod. Bydd hefyd yn rhesymmol yma i ymddiffyn Josephus, mewn pwngc ym mha un y darfu i rai ysgrifenwyr diweddar farnu yn drwm arno; fy meddwl yw, pan y cyhuddant ef megis pe byddai yn gwenheithio wrth Vespasian mai efe oedd wir Fessia'r Iuddewon.

Cymmerwn attom ddau o ymadroddion ar ba rai y sylfaenir y cyhuddiad hwn yngeiriau Josephus ei hun. Y cyntaf sydd yn y chwechfed llyfr o'i hanes o'r rhyfeloedd Iuddewig, ac sydd yn rhedeg y modd hwn: "Os iawn ystyrir y pethau yma, fe geir fod Duw yn defnyddio rhagluniaeth tros ddynolryw, a thrwy amryw foddion yn datguddio iddynt ym mlaen llaw yr hyn sydd er eu diogelwch, ond eu bod yn cael eu difetha trwy eu ffolineb eu hunain, a'u helbul sydd yn wirfoddol. Canys yr Iuddewon a wnaethant y deml yn bedair-ongl, trwy ddifetha tŵr Antonia, tra'r oedd ganddynt wedi ei ysgrifennu yn eu horaclau eu hunain, y byddai i'w dinas, a'r tŷ cyssegredig gael yr amser hwnnw eu cymmeryd, pan ddeuai'r deml yn bedair-ongl. Ond yr hyn a'u cynhyrfodd yn bennaf i ryfel ydoedd areithfa amminheus, y byddai i ryw berson gyfodi ynghylch yr amser hwnnw o'u gwlad eu hunain, yr hwn a arglwyddiaethai ar y byd. Hyn a gymmerasant ei fod yn perthynu iddynt eu hunain, ac amryw o'r gwŷr doethaf a dwyllwyd trwy'r penderfyniad hwnnw, tra'r oedd yr areithfa yn golygu llywodraethiad Vespasian, yr hwn a gyhoeddwyd yn ymerawdwr pan oedd yn Judea." Y darlleniad arall sydd yn ymadrodd Josephus ei hun wrth Vespasian, yn y trydydd llyfr o'r un hanes: "Y mae gennych yn awr mewn llaw Josephus, yn garcharor; a'r olwg sydd gennych yn bresennol nid yw yn cyrraedd ysgatfydd ymhellach; ond yr wyf fi yn dyfod attoch yn genhadwr o bethau mwy. Pe na buasai o herwydd y gennadwri hon, ni allaswn fod yma yn bresennol, yn wrthwyneb i ddyledswydd penciwdawd Iuddewig, yn fyw tan ddwylaw gelyn. Paham yr anfonir fi at Nero, pan y mae Vespasian ei hun mor agos i'r ymerodraeth, fel na's medraf ond yn brin wahaniaethu rhwng Vespasian a'r ymerawdwr, neu Cæsar. Heblaw hynny ei fab Titus sydd i ddilyn ar ei ol ef. Cedwch fi mor gyfynged ag a fynoch, pan na byddwyf ond carcharor i Vespasian, yr hwn nid yn unig yw fy meistr, ond mewn effaith yn arglwydd y greadigaeth. Hyn sydd gennyf tan fy ngofal i'w draethu, a pha bryd bynnag i'm ceir yn arfer y dwyfol awdurdod i annog siomedigaeth, gwnewch sampl o honof fi." Yn awr, yn hyn i gyd nid oes gennym

air o'r rhagfynegiadau hynny y'mherthynas i'r Messia, y rhai y mae Josephus yn ei dystiolaeth hynod am Grist yn dangos eu bod yn dra lliosog; ond am un yn unig y'mherthynas i gymmeryd Jerusalem, a'r tŷ sanctaidd, pan y deuai y deml yn bedair ongl; ac un yn unig ag oedd yn rhagddywedyd, mai ynghylch yr amser hwnw y cyfodai pennadur mawr allan o Judea.

Y rhagfynegiad olaf hwn a ddehonglwyd gan y doethion am un o darddiad Iuddewig; ond gan Josephus, Vespasian, yr hwn a gyhoeddwyd gyntaf yn ymerawdwr pan oedd yn Judea, heb yr arwydd lleiaf o'i feddyliau am dano fel Messia yr Iuddewon. Yr holl Iuddewon, yn unfryd, a ddisgwylient yn wastadol, fod eu Messia nid yn unig i gyfodi yn Judea, ac o rieni Iuddewig yn gyffredinol, ond i fod o hâd Dafydd, ac o dref Bethlehem, lle yr oedd Dafydd i fod yn brophwyd tebyg i Moses; ac i ddyfod yn neillduol er iachawdwriaeth, ac nid er dinystr i Israel, gyd âg amryw amgylchiadau eraill anghyson â Vespasian. At ba oraclau neillduol neu ragfynegiadau yr oedd Josephus yn cyfeirio, sydd anhawdd ei ddeall, gan nad yw yn eu henwi. Yr wyf yn tybied, gydâ Reland, mai y cyntaf o honynt oedd Dan. ix. 26, 27, fel y darllenwyd ac y dehonglwyd yr amser hwnnw gan yr Iuddewon; megis hefyd yr ail ydoedd ddim amgen na hynod brophwydoliaeth Balaam, y byddai i "Seren gyfodi o Jacob, a theyrnwialen ddyfod o Israel," &c. Num. xxiv. 17, 18, 19. Balaam a gyfrifwyd bob amser yn wir brophwyd gan Josephus.

Bydd i ni yma ymdrechu i ymddiffyn yr anrhyw Josephus, oddiwrth fai arall a fwriwyd arno ef; sef, pan yn ei ail llyfr yn erbyn Apion, y mae'n gwneuthur cymhariaeth rhwng Moses y deddfwr Iuddewig, â Minos, gyd â hen osodwyr cyfreithiau cenhedlig eraill; efe a arwydda, er darfod i Moses gymmeryd arno gyfrif darluniad y cyfreithiau a roddasai i'r Israeliaid, i ddwyfol ddatguddiad, megis y gwnaeth y lleill mewn perthynas i'w cyfreithiau ei hunain; etto nad oedd hyn ond yn unig mewn ffordd o dwyll crefyddol; ac na ddarfu iddo ei hun gredu fod y cyfryw ddatguddiad wedi ei wneuthur iddo. Dyma, fel y tebygaf, ddadl arall, i fod Josephus, wedi ei holl zêl tros Moses, a'r cyfreithiau a draddododd, etto heb gael ei gredu yn well na thwyllwr uniongyrch. Ac, fel y golygaf y tŷb yma yn beth newydd, felly yr anturiaf ddywedyd, a hyny oddiwrth nid ychydig o adnabyddiaeth o 'sgrifenadau Josephus, fod yr haeriad yn hollol gamweddus, ac yn wrthwyneb i holl amcan a thuedd Josephus yn ei 'sgrifenadau.

Yr awdwr hwn sydd yn dechreu ei Hynafiaethau gyd â'r sylwiad gwirioneddol a defnyddiol hwn, Na ddarfu i Moses weithredu yn gyffelyb i'r doethion cenhedlig; ni sylfaenodd lywodraeth ar ddyfais ddynol, i'w chyfarwyddo â rheolau dinasaidd; ond a osododd ei sail ar grediniaeth o hanfod, priodoliaethau, a rhagluniaeth un gwir Dduw, Creawdwr a Llywodraethwr yr holl fyd; ac yn ofn y Duw hwnnw wedi ei argraphu yn ddwfn ar feddyliau'r Israeliaid, trwy berswadiad, roddi o hono iddynt y gyfraith, gan yr hon yr oeddynt i'w llywodraethu; ac mai, yn y canlyniad, y rhai a'i torrai, a dynnent arnynt ei anfoddlonrwydd, ac a fyddent yn druenus.

Josephus a ymddengys bob amser megis yn rhoddi crediniaeth gadarn i'r rhannau mwyaf anhawdd eu deall o'r llyfrau cysegredig; ac sydd yn sicrhau i ni, fod pob Iuddew yn cael ei ddwyn i fynu yn y fath barch o honynt, a'u bod bob amser yn barod i roddi eu bywyd i fynu yn hytrach na'u gwrthddywedyd hwynt. Y mae yn wastad yn rhoddi ei gydsyniad i gwymp Adda, symmudiad Enoch ac Elias; i ddiluw Noah; i hir-oesau y patriarchiaid; i ddinystr Sodom a Gommorra, &c. megis ag y mae'r hanesion hyn yn sefyll yn y llyfrau cyssegredig; hefyd i'r prophwydoliaethau ysgrythyrol, pan y maent yn mynych gydgyfarfod; gyd â sylwiadau ar eu gwastadol gyflawniad yn ol hynny hyd ei amser ef.

Mae yn arddel cymhwysder rhagfynegiadau y prophwyd Daniel, wrth eu cymharu â'u cyflawniad; ac yn rhyfeddu pa fodd y gall yr Epicuriaid ddal i fynu yn erbyn y fath dystiolaeth am Ddwyfol Ragluniaeth. Meddyliodd fod Moses wedi ei ysprydoli mor bell, a'i fod yn cymmeryd y cyfrif yn Deuteronomium am ei farwolaeth, a'r lle anadnabyddus o'i gladdedigaeth, nid wedi ei chwanegu gan arall ar ol hynny, fel y dywedodd esponwyr canlynol,

ond ei ysgrifennu yn brophwydoliaethol ganddo ei hun ym mlaen llaw.

Y mae yn fynych yn amlygu ei grediniaeth am angylion da a drwg, neu'r demoniaid, a'u perthynas â dynolryw; megis hefyd am freuddwydion duwiol a phrophwydoliaethol a roddir ar brydiau i ddynion enwog; ac yn addef iddo gael y fath freuddwydion neu weledigaethau ei hun, o'r hyn y dangosasom y fath siampl hynod ynghylch dyrchafiad Vespasian i'r ymerodraeth Rufeinig, cyn i neb yn Judea wybod am farwolaeth Nero ei hun, llai o lawer am ddilyniad a marwolaeth Galba, Otho, a Vitellius, y rhai a ddaeth rhyngddynt, y gwirionedd o'r hyn a dystir yn gyflawn gan Suetonius a Dio, yr historiäwyr cenhedlig.

Efe a draddododd i ni gasgliad helaeth a defnyddiol o dystiolaethau cenhedlig mwyaf sicr, yn cadarnhau gwirionedd a dwyfoldeb llyfrau cyssegredig yr Hen Destament, yr hyn a'i gallnogodd i wneuthur trwy'r nifer mawr o ysgrifenwyr Paganaidd, y rhai y darllenodd eu gwaith ac a'u coffaodd. Yr oedd ganddo, yn wir, yn wrthwyneb i gorph ei genedl ei hun, feddyliau haelionus mewn perthynas i ryddid ymofyniad ym mhlith pob sectau pa bynnag; yr ydoedd yn gwbl wrthwyneb i bob creulondeb, erledigaeth, a gorthrymder dynolryw; ac am ganiattau i bob dynion pwyllog, o bob plaid, ryddid i feddwl a llefaru trostynt eu hunain, megis y gwelent yn oreu, heb gymmeryd tramgwydd y naill oddiwrth y llall: etto ei farn sydd yn wastad yn cydfyned â'r llyfrau, ac â'r hanes cyssegredig. Ië, y peth sydd fwyaf hynod o'r cwbl, hyn a ddywedwyd ac a wnaethpwyd gan Josephus tan yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol iddo ei hun a'i genedl ag oedd bossibl; neu pan oedd Jerusalem gyd â'i theml, ynghyd â'i haddoliad wedi eu llwyr ddifetha; a phan oedd efe ei hun mewn cyflwr o gaethiwed yn Rhufain, tan eilun-addolwyr. Ar yr amser hwn yr oedd yn cynnal ei ffydd yn gadarn yn Nuw, yn ysgrifenadau Moses a'r prophwydi; ac, hyd yn oed yr amser hwnnw a ddywedodd yn amlwg, fod Daniel, y prophwyd Inddewig, er's hir amser wedi rhagfynegi dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, yr hwn a welodd efe; megis ag y darfu Iesu o Nazareth ddeongl y prophwyd hwnnw hefyd. Mat. xxiv. 15. Marc xiii. 14. Ië, fe arwyddodd ym mhellach i ddarllenw yr manwl, y byddai i Fessia yr Iuddewon (Iesu o Nazareth) y garreg a dorrwyd o'r mynydd yn yr un pophwyd, mewn amser i ddyfod, dorri yr ymerodraeth Rufeinig honno yn ddrylliau, a gosod i fynu deyrnas well, yr hon a safai yn dragywydd. Gwel Dan. ii. 44, 45.

Os bydd rhai ymhellach yn tramgwyddo wrth Josephus, am fynych ganiattau i'w ddarllenwyr cenhedlig, i benderfynu fel y meddyliont yn oreu y'mherthynas i amryw o'r gwyrthiau, y rhai y mae yn eu hadrodd o'r Ysgrythyrau Iuddewig, megis pe buasai ei hun mewn ammheuaeth o'r gwirionedd o honynt, yr hyn a fu, ac a all fod yn wrthddadl cyffredin yn ei erbyn; rhaid i mi ddeisyfu rhyddid i ddwyn ger bron, er ei amddiffyniad, wrthwyneb-eiriau y ffyddlon, y cywrain, a'r deallus Reland, yr hwn sydd a'r nôd canlynol ganddo ar un o ymadroddion hynod Josephus o'r natur yma; yr un hynny yr wyf yn ei feddwl mewn perthynas i fynediad yr Israeliaid trwy y Môr Côch. Yr adrodd yw, "Barned a phenderfyned pob un megis y gwelo yn oreu."

"Josephus (medd Reland) trwy y ffordd yma o lefaru, nid yw yn arwyddo ei fod yn ammeu pa un a ydoedd yr hyn a ddywedir am fynediad Israel trwy y Môr Côch yn wir neu beidio: nid yw efe ond yn unig yn arfer y geiriau hyn wrth ysgrifennu at y Cenhedloedd, fel os oedd hyn yn ymddangos yn anghredadwy iddynt hwy, y gallent gymmeryd eu rhyddid eu hunain o grediniaeth, ac nid ymrwystro oblegid hynny rhag darllen ymhellach yr hyn oedd ganddo i'w draddodi: ac nad oedd efe ei hun yn ammeu y tro gwyrthiol hwnnw sydd amlwg ddigon oddiwrth ddull ei adroddiad, ac oddiwrth ei dystiolaeth ei hun, ddarfod iddo ei gymmeryd allan o'r llyfr cyssegredig. Efe a arferodd yr un ymadroddion ar ol dywedyd ddarfod cam-gredu, i Moses a'r Israeliaid gael eu gyrru allan o'r Aipht oblegid eu gwahanglwyf. Y mae gan hynny i'w gasglu, ddarfod iddo grybwyll hyn hefyd fel peth ansicr. Nid yw hyn ddim amgen na'r enllib y mae Josephus ei hun yn ei wrthddywedyd yn ei lyfr cyntaf yn erbyn Apion. Y mae yn dywedyd fel hyn pan y mae yn adrodd am esgyn-

fa Moses i Fynydd Sinai; a chyd â'r adroddiad y mae yn diweddu y trydydd llyfr o'r Hynafiaethau, ac y mae yn traethu am ddwyfoldeb llyfrau Moses. Arferai hefyd yr un geiriau wrth adrodd am oedran Noah ag a ddarfu yn y llyfr cyntaf, ac a ddug esiamplau allan o hanesion cenhedlig, fel yr ymddanghoso y peth yn fwy tebygol i'r Cenhedloedd. Trwy y cwbl, fe ddefnyddia yr ymadrodd hwn ar amrywiol achosion. Ond tra y mae yn arfer y dull hwn o ymadroddi yn ei lyfrau hyn o'r Hynafiaethau, nid wyf yn cofio im' gyfarfod unwaith â hwynt yn ei lyfr am y Rhyfeloedd Iuddewig. Yr wyf yn tybied mai yr achos o ddygiad i mewn yr ymadrodd mor fynych yn yr Hynafiaethau, ydyw, ei fod yn ysgrifennu y llyfrau hyn er mwyn y Cenhedloedd; pan oedd y lleill, mae'n sicr, wedi eu hysgrifenu er defnydd i'r rhai hynny o'i gyd-genedl ag oedd yn trigo tu hwnt i Euphrates. Gallwn gadarnhau y dehongliad hwn o ysgrifenwyr eraill. Ond yr wyf yn meddwl wneuthur o honof eisoes y mater yn ddigon amlwg tu hwnt i ammheuaeth."

Nid oes le i ammeu nad yw sylwiadau y gŵr dysgedig hwn, pan y mae yn nodi nad yw Josephus fyth yn arfer yr ymadrodd, "Barned a pherderfyned pob un fel y gwelo yn oreu," y'mherthynas i wyrthiau yr Hen Destament yn ei saith lyfr o Ryfel yr Iuddewon, yn sicr yn wir: canys wedi darllen y llyfrau hyn trosodd amryw weithiau, gyd â gofal a manylrwydd, yr un meddyliau oedd gennyf yn wastad am danynt. Am y rhith-esgus o ffugiad, yr hyn a ddychymygwyd a allai ryw Gristion catholigaidd fod yn euog yma o hono, mewn perthynas i dystiolaeth Josephus am Grist, a hynny mor foreuol a dyddiau Eusebius, os nid Eusebius ei hun. Rhaid im' haeru mai effaith yr anwybodaeth a'r pleidgarwch mwyaf ydyw, ac heb fod mewn un modd i'w gyfrif i'r awdwr parchus hwn, yr hwn yn gyffredininol a ganiateir ei fod yn arfer y gofal mwyaf i gadw at y gwirionedd yn ei holl ysgrifenadau.

---

# ADFYFYRIAD

## AR HANES YR AMRYW DDAMWEINIAU A GRYBWYLLIR GAN TACITUS A SUETONIUS,

## Yn mherthynas i'r GENEDL IUDDEWIG.

Y CYFRYW ag a ddarllenasant, neu a fyddo â thuedd i ddarllen hanes flynyddol Tacitus, yr ysgrifenwr goreu yn ei oes, a raid eu bod yn canfod yr olwg fawr oedd ganddo ar hanesiad Josephus, er nad yw fyth yn ei grybwyll, mwy nag am awdwyr Rhufeinig, o ba rai y mae'n tynnu rhannau eraill ei hanes; ac etto fe ymddengys ei fod yn cyfeirio at wahanol lyfrau y Rhyfeloedd Iuddewig, yn dra mynych mewn ychydig o du-dalennau, ac yn ymddiried, gan mwyaf i'w hanes ef am achosion y Rhufeiniaid a'r Parthiaid, yn gystal a'r Iuddewon, tros yspaid 200 o flynyddau, tros ba ryw amser y mae'r llyfrau hynny yn cyrhaeddyd. Wrth lefaru am ddechreuad yr Iuddewon, fe ddywed (llyfr v. pen. ii.) "Y mae amryw a haerant mai Assyriaid oeddynt, y rhai ag eisiau tir arnynt a aethant ynghyd, ac a feddiannasant ran o'r Aipht, ac yn fuan ar ol hynny a sefydlasant mewn dinasoedd o'r eiddynt eu hunain yn ngwlad yr Hebreaid, a rhannau o Syria ag oedd agosaf attynt." Y cyfrif yma sydd yn dyfod yn nesaf i'r gwirionedd o'i holl 'sgrifenadau eraill, ac a dynnwyd mae'n dra thebygol o Josephus, er ei orchuddio ganddo ei hun.

Pen. III. "Llawer o awdwyr a gyttunant, mai wedi i ryw haint wenwynol dorri allan yn yr Aipht, pa un oedd yn dwyn ammhuredd ar gyrph dynion, Bacchoris eu brenin a aeth at yr atteb-dduw Jupiter (Ammon,) gan ddeisyf arno

ganiattau iddo ryw ymwared rhag y niweid: a darfod ei annog i buro ei genedl o'r Iuddewon, ac alltudio y rhyw hyn o bobl i wledydd eraill, megis rhai atgas gan y duwiau." Yr ystori yma a allai Tacitus hefyd ei chael allan o Josephus, yr hwn sydd yn helaeth yn gwrthddywedyd y cyffelyb hanes, megis y cyhoeddwyd gan Lysimchus a Manethon yn ei lyfr cyntaf yn erbyn Apion; yn yr hwn y sylwia yn dra neillduol fod y duwiau yn ddigllon, nid wrth anhwyldeb corphorol, ond wrth ymarferiadau annuwiol. Drachefn,

Pen. V. "Yn ganlynol ni feddant ddim delwau yn eu dinasoedd, llawer llai yn eu temlau; nid ydynt fyth yn caniattau y darn yma o weniaeth i'w brenhinoedd, na'r fath hyn o anrhydedd i ymerawdwyr. Y goddefiadau hyn oeddynt i'w dysgu o Josephus, ac agos yn unig o hono ef; allan o ba un, gan hynny, yr wyf yn penderfynu ddarfod i Tacitus gymmeryd y rhan brydferthaf o'i hanes o'r Iuddewon. Drachefn,

Pen. VI. Cyffiniau Judea yn ddwyreiniol a derfynant ag Arabia. Yr Aipht a orwedd tu a'r dehau: o du'r gorllewin y mae Phœnicia a'r Mor Mawr. Y mae ganddynt olygiad o Syria ar eu hochr ogleddol, neu mewn ychydig bellder oddi wrthynt." Gwelwch ddescrifiad Josephus yn nhrydydd llyfr y Rhyfeloedd, o ba ryw le, o bosibl, y lluniodd Tacitus y talfyriad hwn. Y mae'n cael ei osod yn naturiol o flaen dechreuad Rhyfeloedd Vespasian. Drachefn,

Pen. VII. " Heb fod neppell oddiwrth y llyn hwn y mae'r gwastadedd, neu'r dyffrynoedd, y rhai a adroddasom eu bod yn yr amserau gynt yn ffrwythlon, ac ynddynt lawer o ddinasoedd llawnion o bobl." Hyn sydd yn cyttuno yn gymmwys â Josephus, ac oedd raid ei fod wedi ei gymmeryd o hono ef yn y lle rhagddywededig, a hynny yn neillduol o herwydd ei fod yn berthynol iddo, cyn belled ag yr wyf yn deall, ym mhob hynafiaeth. Eraill a dybient fod y dinasoedd yn sefyll ar y lle ag y mae'r llyn ўn awr ynddo; ond Josephus a Tacitus a ddywedant, nad oeddynt yn unig ond yn y gymmydogaeth.

Pen. VIII. "Yn y ddinas honno (Jerusalem) yr oedd teml o anfesuredig gyfoeth. Yn y rhannau cyntaf yr oedd y ddinas, ag amddiffynfeydd o'i hamgylch; yn nesaf yr oedd y palas brenhinol. Y deml sydd oddi mewn yn gauedig. Ni all Iuddew ddyfod ddim ymhellach na'i phyrth. Pawb ond yr offeiriaid a gedwir oddi ar y trothwy. Hyn oll sydd yn Josephus. Gwelwch ei dri discrifiad o deml Jerusalem; Hynaf. Llyfr 8fed a'r 15fed.

Pen. X. Ar farwolaeth Cestius Gallus, pa un ai ei ddyfod trwy dynghedfen, neu ei fod yn flin o'i fywyd, sydd yn ansicr, &c. Nid yw Josephus yn crybwyll dim am farwolaeth Cestius: felly Tacitus a ymddengys ei fod heb wybod dim yn neillduol yn ei gylch. " Pan oedd Vespasian yn ddyn tra ieuangc, addawyd y byddai iddo gyrraedd at y nôd uchaf o enwogrwydd. Ond y peth cyntaf oll a ymddangosodd yn cadarnhau yr arwydd o'i dderchafiad ydoedd, ei fuddugoliaeth ar yr Iuddewon. Wedi unwaith feddiannu hyn, fe feddyliodd ei fod yn rhagarwyddo ei ddyfodiad i'r ymerodraeth." Josephus a gymmerodd sulw cyffredinol o'r arwyddion hynny, ac a chwanegodd yn amlwg ei hynod ragfynegiad ei hun o hono hefyd. Llyfr III. a'r IV. o'r Rhyfeloedd.

Llyfr V. Pen. I. " Ar ddechreued yr un flwyddyn, Titus Cæsar a fwriadwyd gan ei dad i orphen y fuddigoliaeth ar Judea; a thra yr oedd efe a'i dad yn bersonau unigol, Titus a ganmolid am ei ymddygiad milwraidd, ac a weithredodd yn awr gyd â mwy o fywiogrwydd mewn gobaith o glodforedd cyhoeddus; pan oedd tuedd y taleithiau a'r byddinoedd yn cydymdrechu â'u gilydd pa un a allai yn fwyaf ei annog ef. Geirda Titus yn y dosparthiad hwn sydd yn cyttuno yn gymmwys ar bob achosion, fel y mae amryw ymadroddion yr hanesydd Rhufeinig yn cyttuno â'r un Iuddewig hefyd.

Megis ag y mae yn Suetonius wahanol ymadroddion yn gydgymmysgedig â Josephus a Tacitus, gan ei fod yn byw yn yr un ddinas Rufain gyd â hwynt, ac ydoedd ynghylch deuddeg, neu dair blwydd ar ddeg yn ieuangach na Tacitus, ac o ganlyniad ychydig mwy na deng mlwydd ar hugain yn iau na Josephus; gall fod yn werth ein hamser i ymofyn, pa un a ydyw yn rhoddi i ni ryw arwyddion ddarfod iddo ddarllen gwaith Josephus neu Tacitus. Yn awr, gallwn ddal sulw, nad yw Suetonius fyth yn crybwyll Tacitus, ond ei fod yn crybwyll Josephus unwaith, megis wedi rhagfynegi am ddy-

fodiad Vespasian i'r ymerodraeth, ac megis yn cyffwrdd ag Iuddewon a Christionogion. Mae'n hyspysu i ni ddarfod i'r Iuddewon godi terfysg yn Rhufain tan Crestus yn nyddiau Claudius, a darfod eu halltudio oddi yno ganddo ef." Dywed ymhellach, "I Nero osod cospedigaeth ar y Cristionogion, megis plaid neu sect goelgrefyddol a pheryglus a godasai yn ddiweddar." Dywed hefyd, "I Josephus, un o'r caethion boneddigaidd ym mhlith yr Iuddewon, sicrhau wedi ei ddodi mewn rhwymau y rhyddheid ef gan Vespasian, ond nid cyn y byddai yn ymerawdwr. Efe hefyd a gyd-dystiodd â hynafiaeth y tŷb hwnnw, y "byddai i ryw un a gyfodai allan o Judea y pryd hwn, feddiannu yr ymerodraeth tros yr holl fyd;" ac a feddylia gyd â Josephus a Tacitus, ddarfod "cyflawni y fath ragfynegiad yn yr ymerawdwr Rhufeinig Vespasian." Oddi wrth yr holl ymadroddion hyn, y mae yn naturiol i feddwl, ddarfod i Suetonius, o leiaf, weled Tacitus, os nid Josephus ei hun, pan ysgrifenodd ei ddeuddeg Cæsariaid. Etto gan iddo feddwl fod Crestus yn fyw, ac uwch ben y terfysg Iuddewig yn Rhufain yn nyddiau Claudius, yr hyn oedd yn ammhossibl; gallai un feddwl na ddarllenodd Josephus na Tacitus, y rhai, bob un, sydd yn sicrhau ei roddi i farwolaeth yn Judea tan Tiberius; ac oblegid na ddywedodd un gair am yr hanes y'mherthynas i ddelw Caius, yr hon a orchymynasid i Petronius ei gossd i fynu yn y deml yn Jerusalem; yr hyn sydd mor eglur yn Tacitus, ac a osodir allan mor helaeth yn Josephus, am yr hyn y mae genuym hanes arall yn y traethawd a elwir, Cennadwri Philo at Caius, fel yr wyf yn meddwl na ddarllenodd erioed yr awdwyr hyn, neu o'r hyn lleiaf na thybiodd yn addas ddilyn un o honynt. Ac nid yw y rheswm yn ymddangos i mi paham mewn un lle yr ysgrifenai Suetonius Chrest am enw ein Hiachawdwr, gyd âg eraill o'r hynafiaid yn y gorllewin; ac etto gyd â Josephus a Tacitus yn ysgrifennu enw ei ganlynwyr, gyd â'r Iuddewon eraill,a'r Cenhedloedd yn y dwyrain, Cristionogion.

Mewn perthynas i'r historiawr unionfarn Dion Cassius, er ei fod yn byw yn Rhufain, a chael amryw dystiolaethau am Josephus; etto ni ysgrifenodd hyd deyrnasiad Alexander Severus; ac y mae'n rhoddi arwydd mor fychan iddo erioed ddarllen Josephus, fel nad oes achos i mi draethu yma yn neillduol am dano ef.

Strabo, y daear-ddarluniwr a hanesydd godidog, oedd yn byw ynghylch hanner cant o flynyddau yn foreuach na Josephus, ac a goffëir amryw weithiau ganddo ef, ac am hynny nis gallai ei hun weled ysgrifenadau Josephus. Gall ymddangos yn werth ein sulw yma, fod daear-ddarluniad Strabo, yr hwn sydd â chyfeiliornadau ynddo mewn pertbynas i Judea, ac sydd etto mewn bod, yn cael ei grybwyll unwaith yn unig gan Josephus; ond fod ei hanesion, y rhai a goffeir ddeg o weithiau, wedi eu colli, fel na ellir eu cymharu â'r casgliadau. Pa bryd yr oedd Trogus Pompeius, yr hwn a dalfyrwyd gan Justin, yn fyw, ni wyddis yn iawn; ond y mae'n dra thebyg ei fod gryn amser o flaen Josephus, fel na's gallai efe ychwaith grybwyll am dano. Pa fodd bynnag, fe ymddengys yn amlwg, mai pan ysgrifenodd Josephus ei Hynafiaethau, Hanes ei Fywyd, a'i lyfrau yn erbyn Apion, ei fod yn deall darluniad a hanes ei wlad ei hun yn llawer gwell na Strabo, Tacitus, Suetonius, Dion Cassius, na neb arall o ysgrifenwyr dieithriol.

Amrywiol o is-feirniaid diweddarach, y rhai a ddewisent haneswyr Groegaidd a Rhufeinaidd o flaen y rhai Iuddewig, ac yn enwedig Josephus, a ddylasent ddysgu mwy o hynawsedd a chymmedroldeb oddiwrth y pennaf o'u tadau Joseph Scaliger; yr hwn, wedi ei holl ymofyniad, a dystiodd yn ddifrifol, mai Josephus ydoedd y mwyaf dyfal, ac un oedd yn dilyn y gwirionedd yn fywaf o bob ysgrifenwyr;" a'r hwn ni ofnaf ddywedyd, "ei fod yn fwy dibervgl ei gredu ef, nid yn unig y'mherthynas i faterion yr Iuddewon, ond hefyd am y rhai dieithriol iddynt, na'r holl ysgrifenwyr Groeg a Lladin, a hynny o herwydd fod ei ffyddlonder ac ehangder ei ddysgeidiaeth ym mhob man yn amlwg." I'r dywediad hwn o eiddo Scaliger yr ydym yn gorfod cydsyniaw, fel priodol ganlyniad ein sylwiadau ar y mater hwn.

Ar ol yr hyn oll a ddywedwyd, bydded i'r Iuddewon enog, yn ol dyddiau Josephus, a'r hereticiaid euog a ddilynasant Simon Magus, gynnal eu beichiau eu hunain o dwyll a 'sgelerder, a'u hangchwanegiad o hanesion a choffad-

wriaethau hynafiaethol, canys y maent yn rhy amlwg a diwâd yn ei haeddu. Ond na fydded i Josephus, neu'r Cristionogion diniweid, o flaen anghristiaeth a phabyddiaeth, gynnal y cyfryw feichiau: canys mor bell ag y gallwn ni farnu, ac yr ŷ'm yn ei ddywedyd ar ol llawn brofiad, mai ganddynt hwy y mae'r achos lleiaf i'w ddwyn o holl ddynolryw, pwy bynnag, o ddechreu'r byd hyd yr amser presennol.

# DYCHYMMYG YR IUDDEWON PRESENNOL,

## *MEWN PERTHYNAS I'R*

# MESSIAH.

CYTTUNA yr holl Iuddewon, fod Messia yn addawedig i'r genedl Iuddewig; ac yn ganlynol, y maent yn gweddïo, yn eu gwasanaeth beunyddiol, "ar iddo ddyfod gyd â brys, ac yn eu dyddiau hwynt:" ond pa fath un a fydd, neu o ba gynneddf ac amgylchiad y mae i ymddangos ynddo, ynghyd âg amser ei ddyfodiad, sydd yn fater o amheuaeth a dadl mawr yn eu mysg. Fe gredir yn gyffredinol, pa fodd bynnag, fod y Messia i ymddangos fel un o'r cyffredin bobl; ond y bydd yn rhagori ym mhell ar eraill mewn amryw rinweddau: y bydd iddo brïodi, ac ennill plant, y rhai a'i dilynant yn ei deyrnasiad.

"Pan, meddant hwy, y casgl y Messia ynghyd yr Iuddewon, o blith holl genhedloedd a pharthau'r byd, a darfod iddo eu harwain i'r wlad yn llifeirio o laeth a mêl, efe a gynnal wledd frenhinol mewn llawnder mawr, rhwysg, a gorfoledd; a rhydd wahoddiad i'r holl Iuddewon i ddyfod iddi, gan eu derbyn gyd â'r croesaw mwyaf caredig. Yn y wledd hon, pob un o'r Iuddewon a osodir i eistedd wrth fwrdd o aur. Ar yr achos hwn, fe arlwyir ac a wasanaethir i fynu gyflawnder digonol o fwydydd mwyaf danteithiol. Y byrddau a hilir hefyd â gwîn ac â dïodydd mwyaf blasus a brofwyd gan ddyn erioed, er dechrau'r byd; canys hwy a ddygir o baradwys, ac a gedwid yn ngwindŷ Adda erbyn y wledd frenhinol hon."

Gadewch i ni yn awr edrych ychydig ym mha ddull y mae'r Iuddewon i fyw yn eu gwlad hynafiaethol hon tan arglwyddiaeth eu Messïa. Dywedir i ni y bydd i'r cenhedlaethau dieithr, y rhai a adawant i fyw, adeiladu iddynt dai a dinasoedd; llafurio eu tir, a phlannu gwinllanoedd, a hyn oll heb ddisgwyl dim gwobr am eu llafur. Y cenedlaethau hyn a fyddo byw a gynhygiant yn ewyllysgar iddynt eu cyfoeth a'u dodrefni: tywysogion a gwŷr ardderchog a fydd gymdeithion iddynt, ac a fyddant barod, ar amnaid, i ddangos iddynt pob ufudd-dod; tra y byddant hwy eu hunain yn cael eu hamgylchu â mawredd ac â diddanwch, gan ymddangos mewn gwisgoedd a harddwyd â thlysau, fel offeiriaid enneiniedig wedi eu cyssegru i Dduw.

Bydd i'r Iuddewon hefyd y pryd hynny, fel y dywedir, anadlu mewn awyr bur a iachus; ac am y mater hwn y maent yn ymorphwys ar yr ysgrythur ganlynol, "Wele fi yn crëu nefoedd newydd a daear newydd," &c. Esay lxv. 17. Byddant gan hynny yn wastadol mewn cyflwr o iechyd, a chyhyd eu bywydau a'r cynddiluwiaid; yn mwynhau mewn henaint fywiogrwydd ieuengctyd; fel y mae'n 'sgrifenedig, meddant hwy, "Ffrwythant etto yn eu henaint," &c.

Am ffrwythlondeb y wlad yn yr amser dedwyddol hwnnw, dywedant, wedi i wenith gael unwaith ei hau, y bydd i'r ddaear bob blwyddyn ar ol hynny ddwyn yr unrhyw rawn o honi ei hun, heb ddim ychwaneg o hau, neu lafurio, megis yn Hosea xiv. 7. Nid cynt y chwennycha Iuddew wlaw i'w faes, ei ardd, neu lysieuyn neillduol, nag y caniatteir iddo gan Dduw; fel yn Zec. x. 1. Ni fydd dim rhyfel-

oedd, na son am ryfeloedd ar y ddaear; ond heddwch didorr a thragywyddol a sefydlir ym mysg dynion, a rhwng dynion ag anifeiliaid, megis yn Hos. ii. 1. Esay. xi. 81.

Mewn gair, gwynfydedigrwydd y genedl sanctaidd hon, yn amser y Messia, a fydd yn gyfryw, na ddichon fyned i feddwl dyn ddychymmygu, llai o lawer y gellid adrodd, y cyflwr dyrchafedig a fyddant ynddo. O'r hyn lleiaf, hynny oedd dywediad y Rabbiniaid. Ond y darllenydd deallus, yn ddiammeu, a'i geilw yn *Baradwys Ffyliaid.*

# TAFLEN O FESURAU, PWYSAU, AC ARIAN IUDDEWIG.

## I. HYD-FESURAU.

Cufydd, 1 troedfedd, a 9 modfedd.
Rhychwant mwyaf, 10 mod.
———— lleiaf, 7 mod.
Dyrnfedd, 3 mod.
Bysfedd, yr 16eg ran o fod.
Gwrhyd, 4 cuf. 7 troed. a 3 mod.
Corsen Ezeciel, 6 cuf. 10 troed. 11 mod.

Taith diwr. Sabboth, 2000 cuf. a 729 camrau, 3 tr.
Milldir Iuddewig, 4000 cuf. 1 fill. 403 cam. 1 tr.
Ystâd, 400 cuf. 145 cam. 4 tr.
Nodwch, 5 troedfedd a wna 1 cam neu lam, ac 1056 o gamrau a wna 1 filldir.

## II. MESURAU O FAINTIOLI.

### MESUR GWLYB.

Homer neu Cor, 75 galwyn, 5 pint.
Bath, 7 gal. 4 pint.
Hin, 1 gal. 2 pint.
Log, 24 modfedd cyfan-gwbl.
Ffircyn neu Metretes, 7 pint. 4 modfedd.

### MESUR SYCH.

Homer, 8 bwysel, ac 1 pint.
Lethech, 4 o bwyseli.
Epha, 3 pheciaid, a 3 phint.
Scah neu Sat, 1 pec. ac 1 pint.
Omer, 5 pint.
Cab, 2 bint, a'r 9fed ran o b.

## III. ARIAN IUDDEWIG.

| | £. | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Sicl Arian . . . . . . | 0 | 2 | 3 |
| Beca . . . . . . . . | 0 | 1 | 1 |
| Zuza . . . . . . . . | 0 | 0 | 6 |
| Gera . . . . . . . . | 0 | 0 | 1 |
| Mane neu Mina . . . | 5 | 13 | 10 |
| Talent . . . . . . | 341 | 10 | 4 |
| Sicl Aur . . . . . | 1 | 16 | 5 |
| Talent Aur . . . . | 5464 | 5 | 8 |
| Daric Aur . . . . . | 1 | 1 | 10 |
| DarnArian, neu'r Drachmæ | 0 | 0 | 7¾ |
| Arian Teyrnged neu dr. | 0 | 1 | 3½ |
| Stater . . . . . . . | 0 | 2 | 7 |
| Punt neu Mina . . . | 3 | 4 | 7 |
| Ceiniog, neu'r Denarius . | 0 | 0 | 7¾ |
| Ffyrllin, neu Assarium . | 0 | 0 | 0¼ |

## IV. PWYSAU IUDDEWIG.

Sicl, 9 pwys cein. a 2 dram.
Maneh, 2 bwys, 3 wns, 9 p. c.
Talent, 3000 o siclau, 113 pwys, 10 wns, 1 p, c. 10 dram.

D. S. Fel y mae yn dra adnabyddus ac amlwg fod Talent Hebreaidd yn 3000 o Siclau, pan y mae copïau presennol Josephus yn dywedyd, fod y cyfryw Dalent yn gydradd a 100 Mane, yr hyn yr ydym ni yn ei alw Pwys: ni's gellir meddwl i Josephus ei hun fod yn euog o gymmaint camsyniaeth; ac o ba le y tarddodd, ni's gellir yn iawn ddeall.

*Am y Misoedd Iuddewig yn Josephus, ac eraill, a'r enwau Macedonaidd arnynt, a'r modd y maent yn cyfatteb i'r Misoedd Rhufeinig.*

| Enwau Hebr. | Enwau Macedon. | Enwau Rhufeinig. |
|---|---|---|
| 1 Nisan . . | Xanthicus . . . | Mawrth ac Ebrill. |
| 2 Jyar . . . | Artemisius . . | Ebrill a Mai. |
| 3 Sivan . . . | Dæsius . . . . . | Mai a Mehefin. |
| 4 Tamuz . . | Panemus . . . . | Mehefin a Gorphenhaf. |
| 5 Ab . . . . | Lous . . . . . | Gorphenhaf ac Awst. |
| 6 Elul . . . | Gorpiæus . . . | Awst a Medi. |
| 7 Tizri . . . | Hyperberetæus | Medi a Hydref. |
| 8 Marhesvan | Dius . . . . . . | Hydref a Tachwedd. |
| 9 Casleu . . | Apellæus . . . | Tachwedd a Rhagfur. |
| 10 Tebeth . . | Audinæus . . . | Rhagfur a Ionawr. |
| 11 Shebat . . | Peretius . . . . | Ionawr a Chwefror. |
| 22 Adar . . . | Dystrus . . . . | Chwefror a Mawrth. |

D. S. Y blynyddau ag ydis yn gwneuthur defnydd o honynt yn y cyfieithiad presennol o Josephus, tan y nôd An. neu Bl. ydynt y rhai hynny o flaen y Cyfrif Cristionogol; megis y mae y rhai tan y nodiad A. D. neu B. A. yn arwyddo y blynyddoedd ar ol hynny.

# MYNEGAI,

## *NEU DDANGOSEG Y GWAITH RHAGFLAENOL.*

### A

B

C



D

E



F



G

H

J

L



M

*DIWEDD.*

JONES, ARGRAPHYDD, DOLGELLAU.

